19 (Canys dywedase'r Arglwydd wrth Moses ym
a Mat. 2. 20. Madian, Dos dychwel i'r Aipht: o herwydd bu fei-
rw yr holl wŷr yrhai oeddynt yn a ceisio dy einioes.)
b Pen.18. 3. 20 Yna Moses a gymmerth b ei wraig, ai feibion,
ac ai rhoddodd hwynt i farchogeth ar assyn, ac a
ddychwelodd tua gwlad yr Aipht: cymmerodd
c Adn.3. 17. Pen.17.9 Moses hefyd c wialen Duw yn ei law.
21 A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, pan
elech i ddychwelyd i'r Aipht, gwel it' wneuthur yr
holl ryfeddodau y rhai a roddais yn dy law ger
d Pen 7.3 Sal. 105. 25. bron Pharao: ond d mi a galedaf ei galon ef, fel na
ollyngo ymmaith fy mhobl.
Deut. 2. 30. Ios. 11. 20. 22 Yna dywet wrth Pharao, Fel hyn y dywed-
Esa.6.10. odd yr Arglwydd, e Fy mab mau fi, [sef] f fyng-hyn-
Rhuf. 11. 8. taf-anedic [yw] Israel.
e Gen.32. 28. 23 Am hynny y dywedais wrthit, Gollwng fy
f Heb. 12 23. mab fel i'm gwasanaetho; ond os gwrthodi ei oll-
wng ef, wele mi a laddaf dy fab di [sef] dy gyntaf-
anedic.
g Num. 22. 31. 24 A bu ar y ffordd yn y llyttŷ, g gyfarfod o'r Ar-
h Gen. 17 14. glwydd ag ef, a cheisio ei h lâdd ef.
Lef. 10. 3. 25 Ond Sephora a gymmerth [§ gyllell] lem, ac a
§ carreg. Ios. 5. 2. dorrodd ddienwaediad ei mab, ac ai bwriodd i
gyffwrdd ai draed ef; ac a ddywedodd, Diau dy
i 1Sam 16 7 [fod] i yn briod gwaedlyd i mi.
26 A ['r Arglwydd] a beidiodd ag ef: (hi a ddy-
wedase, yna priod gwaedlyd, o blegit yr enwaediad).
27 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Aaron,
j Preg 4 9 Dôs i j gyfarfod a Moses tua'r anialwch: ac efe
aeth ac a gyfarfu ag ef ym mynydd Duw, ac ai
k Gen 39 11. k cusanodd ef.
28 A Moses a fynegodd i Aaron holl eiriau 'r
Arglwydd yr hwn ai hanfonase ef; a'r l holl arwydd-
l Adn 11, 12, 13 ion y rhai a orchymynnase efe iddo.
29 Yna'r aeth Moses, ac Aaron, ac a gynnull-
m Pen 3 16 asant holl m henuriaid meibion Israel.
30 Ac Aaron a draethodd yr holl eiriau y rhai a
lefarase'r Arglwydd wrth Moses; ac a wnaeth yr
arwyddion yng-olwg y bobl.
n Pen 3,7 Luc 1.68 31 A chredodd y bobl: a phan glywsant n ymwe-
led o'r Arglwydd a meibion Israel, ac iddo weled
o Gen 17 3. 2Cron 20,18. eu gorthrymder, yna hwynt a o ymgrymmasant, ac
a addolasant.

## PEN. V.

*1 Moses ac Aaron yn dywedyd eu cennadwriaeth wrth Pharao. 6 Pharao yn gorthrymmu'r bobl waethwaeth. 20 Y bobl yn digio wrth Moses ac Aaron.*

p Pen 4, 14 AC wedi hynny p Moses ac Aaron a ddaethant,
q Sal 119. 46. Esec 2, 6 ac a q ddywedasant wrth Pharao, Fel hyn y
dywedodd Arglwydd Dduw Israel, Gollwng ymaith
r 1Cor 3,8 fy mhobl fel y cadwant r ŵyl i mi yn yr anialwch.
s Pen3,19 Iob 21,15 Sal. 12, 3 2 A dywedodd Pharao, s Pwy [yw] 'r Arglwydd
fel y gwrandawn i ar ei lais, i ollwng Israel ym-
maith? yr Arglwydd nid adwaen, ac Israel ni
ollyngaf.
t Pen3,18 3 A dywedasant hwythau, Duw'r Hebræaid t a
gyfarfu a ni; gad i ni fyned attolwg daith tridiau
yn yr anialwch fel yr aberthom i'r Arglwydd ein
Duw, rhac iddo ein rhuthro a u haint neu a chleddyf. u Zec. 14 17
4 Yna y dywedodd brenin yr Aipht wrthynt,
Moses v ac Aaron Pa ham y perwch i'r bobl beidio v Act. 23, 5
ai gwaith? ewch at eich cludd. Luc 23, 2, 5
5 Pharao hefyd a ddywedodd, Wele w pobl lawer w Pen. 1, Diar. 14, 28
[sydd] yn awr yn y wlad; a pharasoch iddynt
beidio ai llwythau.
6 Am hynny y gorchymynnodd Pharao y dydd
hwnnw, i'r rhai oeddynt x feistred gwaith ar y x Pen. 1, 11
bobl ai goruchwil-wyr, gan ddywedyd,
7 y Na roddwch mwyach wellt i'r bobl i wneu- y 1 Cor. 10, 11
thur pridd-feini megis † o'r blaen; elont eu hun a Pen.4,30
chasclant wellt iddynt. † Heb. ddoe ac echdoe.
8 Er hynny rhifedi y pridd-feini y rhai yr oedd-
ynt hwy yn ei wneuthur o'r blaen a roddwch
arnynt, na leihewch o hynny: canys segur ydynt,
am hynny y maent yn gweiddi, gan ddywedyd,
Gad i ni fyned ac aberthu i'n Duw.
9 Trymhaer y gwaith ar y gwŷr, a gweithiant
ynddo; fel nad edrychant z am eiriau ofer. z Ier.43,2 Zec. 1, 6,
10 Yna meistred gwaith y bobl, ai goruchwil-
wyr a a aethant allan, ac a lefarasant wrth y bobl, a Diar. 29, 12
gan ddywedyd; Fel hyn y dywedodd Pharao, Ni
roddaf wellt i chwi.
11 Ewch chwi a chymmerwch iwch wellt o'r lle b Adn 13, 14.
y caffoch; er hynny b ni leiheir dim o'ch gwasanaeth.
12 A'r bobl a ymwascarodd trwy holl wlad yr
Aipht, i gasclu sofl yn lle gwellt.
13 A'r meistred gwaith oeddynt yn pryssuro,
gan ddywedyd, Gorphennwch eich gwaith, dogn
dydd yn ei ddydd, megis pan oedd gwellt.
14 A churwyd goruchwil-wyr meibion Israel, y
rhai a osodase meistred gwaith Pharao arnynt,
gan ddywedyd, Pa ham na orphennasoch eich
tasc ar wneuthur pridd-feini ddoe a heddyw,
megis cyn hynny?
15 Yna goruchwil-wyr meibion Israel a ddaeth-
ant, ac a lefasant ar Pharao, gan ddywedyd, Pa
ham y gwnei fel hyn i'th weision?
16 Gwellt ni roddir i'th weision, a gwnewch
bridd-feini i ni, meddant; ac wele dy weision a
gurwyd, a'th bobl di sydd ar y bai.
17 Ac efe a ddywedodd, Segur segur ydych;
am hynny 'r ydych chwi yn dywedyd, Gad i ni
fyned [fel] yr aberthom i'r Arglwydd.
18 Am hynny ewch yn awr, gweithiwch ac ni
roddir gwellt i chwi; etto chwi a roddwch yr [un]
cyfrif o'r pridd-feini.
19 A goruchwil-wyr meibion Israel ai gwelent
eu hun mewn [lle] c drwg, gan ddywedyd, Na c Mat. 14, 26.
leihewch [ddim] o'ch pridd-feini, dogn dydd yn ei
ddydd.
20 A chyfarfuant a Moses ac Aaron yn sefyll ar
eu ffordd hwynt, pan ddaethant allan oddi wrth
Pharao.
21 A dywedasant wrthynt, d Edryched yr Ar- d Gen. 31, 53.

e Pen. 4, 31 glwydd a e barned arnoch chwi; y rhai a barasoch
Gen.16,5 i'n sawyr f ddrewi ger bron Pharao, a cher bron ei
fGen. 34, 30 weision, gan roddi cleddyf yn eu llaw hwynt i'n
lladd ni.
g Sal. 78, 25. 1Sam 30, 6 22 Yna y g dychwelodd Moses at yr Arglwydd,
ac y dywedodd, O Arglwydd pa ham y drygaist
y bobl hyn? i ba beth i'm hanfonaist?
h Ier.20,7 23 Canys er pan ddaethum at h Pharao i lefaru
1 Bren. 19, 4, 10 yn dy enw i di, efe a ddrygodd y bobl hyn: a
i Ezec. 5, 1. Salm 118, 26 chan waredu ni j waredaist dy bobl.

## PEN. VI.

Ier.11,21 Ioan5,43 j Rhuf 2,7 Esa 26,16 Pre. 3,11 *1 Duw yn sicrhau ei addewid am waredu Israel, 11 ac yn danfon Moses ac Aaron at Pharao eilwaith. 14 Hiliogaeth Ruben, Simeon, a Lefi, lle y dangosir achau Moses ac Aaron.*

Pen4,10, 11. Heb. 10, 36 YNA y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Yn awr y cei weled beth a wnaf i Pharao;
canys trwy law gadarn y gollwng efe hwynt, a
k Pen. 3, 20 thrwy k law gadarn y gyrr efe hwynt o'i wlad.
2 Duw hefyd a lefarodd wrth Moses, ac a ddy-
wedodd wrtho, Myfi [ydwyf] Iehofa,
3 A mi a ymddangosais i Abraham, i Isaac, ac i
l Gen. 14, 18. a 17,1 Iacob yn l Dduw hollalluoc: onid [yn] fy enw
m Iehofa ni buûn hyspys iddynt.
m Esa 44, 6. Act 17, 25 4 Hefyd mi a n sicrheais fyng-hyfammod a hwynt
am roddi iddynt wlad y Canaaneaid: sef gwlad eu
n Gen. 6, 18. a 15, 17, 18 hymdaith yr hon yr ymdeithiasant ynddi.
o Pen 2, 23 5 A mi a glywais hefyd o ucheneid meibion
Israel, y rhai y mae'r Aiphtiaid yn eu caethiwo;
p Gen 8,1 a chofiais p fyng-hyfammod.
6 Am hynny dywet wrth feibion Israel, Myfi
[ydwyf] Iehofa, ac myfi a'ch dygaf chwi allan oddi
tann lwythau yr Aiphtiaid, ac a'ch rhyddhaf oi
q Deut. 4, 34 caethiwed hwynt; ac a'ch gwaredaf q a braich
Esa. 9, 12, 17, 21 estynnedic, ac mewn barnedigaethau mawrion.
7 Hefyd mi a'ch cymmeraf yn bobl i mi, ac a
r Gen 17, 7. Rhuf 8, 31 fyddaf yn r Dduw i chwi: a chewch wybod mai
myfi [yw] yr Arglwydd eich Duw, yr hwn sydd
yn eich dwyn chwi allan oddi tann lwythau 'r
Aiphtiaid.
† Heb. codais fy llaw. 8 A mi a'ch dygaf chwi i'r wlad, yr hon a † dyng-
ais ar ei s rhoddi i Abraham, i Isaac, ac i Iacob: ac
Gen 14, 22 ai rhoddaf i chwi yn etifeddiaeth; myfi [ydwyf] yr
s Gen 28, 13. Heb. 11, 10, 16 Arglwydd.
§ Heb. byrdra. 9 A Moses a lefarodd felly wrth feibion Israel:
ond ni wrandawsant ar Moses, gan § gyfyngdra
Num21,4 ysbryd, a chan y gaethiwed galed.
Pen 14,12 Diar 14, 19 10 Yna'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan
Iob 21, 4 ddywedyd,
11 Dos dywet wrth Pharao brenin yr Aipht,
am iddo ollwng meibion Israel oi wlad.
12 A Moses a lefarodd ger bron yr Arglwydd,
gan ddywedyd, Wele meibion Israel ni wrandawsant
arnafi, a pha fodd i'm gwrandawe Pharao, a minne
t Pen 4,10 yn t ddienwaededic o wefusau.
Gen17,11 Esay 6,5 13 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, ac Aa-
Iob 12,20 ron, ac a roddodd orchymyn gyd a hwynt at feib-
ion Israel, ac at Pharao brenin yr Aipht; yng-hylch

dwyn meibion Israel allan o wlad yr Aipht.
14 Dymma eu penn cenedl hwynt; meibion u Ru- u Gen 46, 9. 1 Cron 5, 3
ben y cyntaf-anedic i Israel, [oeddynt] Henoch a
Phalu, Hesron, a Charmi; dymma deuluoedd
Ruben.
15 A meibion v Simeon [oeddynt] Iemuel, ac Ia- v 1 Cron 4, 24
min, Ohad ac Iachin, Sohar hefyd a Saul mab y
Canaanites; dymma deuluoedd Simeon.
16 Dymma hefyd henwau meibion Lefi yn ol
eu cenhedlaethau, Gerson, w Cehath hefyd a Mer- w Num 26, 57
ari: a blynyddoedd oes Lefi [oeddynt] gant, ac 1 Cron 6, 1
onid tair blynedd, deugain. a 23, 6
17 Meibion Gerson [oeddynt] Libni, a Simi yn
ol eu teuluoedd.
18 A meibion Cehath [oeddynt] Amram, ac Ish-
ar, Hebron hefyd ac Uzziel: a blynyddoedd oes
Cehath [oeddynt] dair ar ddec ar hugain, a chan
mhlynedd.
19 Meibion Merari [oeddynt] Mehali a Musi:
dymma deuluoedd Lefi yn ol eu cenhedlaethau.
20 Ac Amram a gymmerodd Iochebed ei fod-
ryb o x du ei dad yn wraig iddo, a hi a ymddûg x Pen 2, 1. Num 26, 59
iddo Aaron a Moses: a blynyddoedd oes Amram
[oeddynt] onid y tair, deugain a chan mhlynedd. y Adn. 18, 19
21 A meibion Ischar [oeddynt,] z Corah, a z Num 16, 1
Nepheg, a Sichri.
22 A meibion a Uzziel [oeddynt], Misael, ac a Lef 10, 4
Elzaphan, a Zithri.
23 Ac Aaron a gymmerodd ‡ Elizebah merch ‡ Duw a dyngodd
b Aminadab chwaer * Nahason yn wraig iddo: a hi b Num 2, 3
a ymddûg iddo Nadab, ac Abihu, c Eleazar ac c Lef 10, 1
Ithamar. c Num 20, 25
24 Meibion Corah hefyd [oeddynt] Assir, ac
Elcanah, ac Abiasaph: dymma deuluoedd y
Corahiaid.
25 Ac Eleazar mab Aaron a gymmerodd yn
wraig iddo [un] o ferched Puttiel, a hi a ymddûg
iddo ef * Phinees: dyma bennau cenedl y Lefiaid, * Num 25, 7
yn ol eu teuluoedd.
26 Dymma Aaron a Moses; y rhai y dywedodd
yr Arglwydd wrthynt, Dygwch feibion Israel
allan o wlad yr Aipht, yn ol eu d lluoedd. d Gen 2, 1
27 Dymma Moses ac Aaron y rhai a lefarasant
wrth Pharao brenin yr Aipht, e am ddwyn meib- e Adn 13
ion Israel allan o'r Aipht. Sal. 77, 20
28 A bu ar y dydd y llefarodd yr Arglwydd Pen 32, 7
wrth Moses yn nhir yr Aipht,
29 Yna lefaru o'r Arglwydd wrth Moses, gan
ddywedyd, Myfi [yw]'r Arglwydd; dywet wrth
Pharao brenin yr Aipht yr hyn oll yr ydwyfi yn
ei ddywedyd wrthit.
30 A dywedodd Moses ger bron yr Arglwydd, f Pen 4, 10
Wele fi yn f ddi-enwaededic o wefusau, a pha fodd g Mat 9, 38. 1 Cor 9, 16, 17
y g gwrendu Pharao arnaf?

## PEN. VII.

*Duw yn danfon Moses ac Aaron at Pharao. 10 Moses yn troi ei wialen yn sarph: a hudoliaeth Pharao yn gwneuthur y*

*cyffelyb. 19 Moses yn troi y dwfr yn waed, a'r swynwyr yn gwneuthur yr un modd.*

A'R Arglwydd a ddywedodd wrth Moses,
h Ier 1,10 Gwel mi a'th roddais yn [h] Dduw i Pharao;
i Pen 4,16 ac Aaron dy frawd fydd dy [i] brophwyd.
j Mat 28, 20 2 Ti a [j] leferi yr hyn oll a orchymynnwyf it: ac
Aaron dy frawd a lefara wrth Pharao ar iddo
ollwng meibion Israel ymmaith oi wlad.
k Pen 4, 21 3 A minne a [k] galedaf galon Pharao; ac a amlhaf
l Rhuf 15, 19 fyng-wrthiau a'm [l] rhyfeddodau yng-wlad yr Aipht.
18. Ioan 4, 48 4 Ond ni wrendu Pharao arnoch, yna y rhoddaf
m Barn 2, 15 fy llaw [m] ar yr Aipht; ac y dygaf allan fy lluoedd,
n Pen 6, 26 sef fy mhobl meibion [n] Israel, o wlad yr Aipht,
o Sal. 125, 3 mewn [o] barnedigaethau mawrion.
p Sal. 9,16 5 A'r Aiphtiaid a [p] gaant wybod mai myfi [ydwyf]
yr Arglwydd, pan estynnwyf fy llaw ar yr Aipht;
a dwyn meibion Israel allan oi mysc hwynt.
6 A gwnaeth Moses ac Aaron fel y gorchymyn-
q Pen 12, 28 Salm 119, 4 nodd yr Arglwydd iddynt; [ie] [q] felly y gwnaethant.
7 A Moses [ydoedd] fab [r] pedwar ugain mlwydd,
r Act 7, 30. Deut 34, 7. ac Aaron yn fab tair blwydd a phedwar ugain,
pan lefarasant wrth Pharao.
Pen 2, 23 Gen 15, 13 8 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, ac wrth
Aaron, gan ddywedyd,
9 Os llefara Pharao wrthych, gan ddywedyd,
Moeswch [weled] gennych wrthiau: yna y dywedi
s Pen 4,2 wrth Aaron, Cymmer dy [s] wialen, a bwrw [hi] ger
t Sal 74,13 Ezec 29,3 bron Pharao [fel] y byddo yn [t] sarph.
10 Yna y daeth Moses ac Aaron at Pharao, a
gwnaethant felly, megis y gorchymynnase 'r Arg-
lwydd: canys Aaron a fwriodd ei wialen ger bron
u 2 Tim 3, 8 Pharao, a cher bron ei weision, a hi a aeth yn sarph.
Sal 3, 1 11 A Pharao hefyd a alwodd am y doethion, [u] a'r
hudolion: a hwyntau hefyd [sef] swynwyr yr Aipht
a wnaethant felly drwy eu swynion.
12 Canys bwriasant bob un ei wialen, ac aethant
v Ioan 4, 4. Act 6, 10 yn seirph: ond gwialen Aaron a [v] lyngcodd eu
gwiail hwynt.
w Rhuf 2, 5 13 Er hynny [w] calon Pharao a galedodd fel na wr-
andawe arnynt hwy: megis y llefarase'r Arglwydd.
14 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
† Heb. trymhaodd. Zec 7, 11 †Caledodd calon Pharao: gwrthododd ollwng
ymmaith y bobl.
x Sal 101, 8 15 Dos at Pharao yn [x] foreu, wele efe a ddaw allan
i'r dwfr, saf dithe gyferbyn ag ef, ar lann yr afon:
a chymmer yn dy law y wialen yr hon a drodd
yn sarph.
16 A dywet wrtho, Arglwydd Dduw yr Hebræ-
aid a'm anfonodd attat, i ddywedyd, Gollwng
ymmaith fy mhobl fel i'm gwasanaethant yn yr
anialwch: ac wele ni wrandewaist hyd yn hyn.
17 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Wrth hyn
y Sal 9,16 Pen 5, 2 y [y] cei wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd:
wele myfi a'r wialen yr hon [sydd] yn fy llaw a
darawaf y dyfroedd y rhai [ydynt] yn yr afon,
fel y troir hwynt yn waed.
18 A'r pysc y rhai [ydynt] yn yr afon a fyddant
feirw, a'r afon a ddrewa; a ‡bydd blin gan yr Aipht- ‡ Blaidd, Adn 24
iaid yfed dyfroedd o'r afon.
19 Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrth Mo- Pen 8, 24 a 9, 26
ses, Dywet wrth Aaron, Cymmer dy wialen ac es- a 10, 23
tyn dy law ar ddyfroedd yr Aipht, ar eu ffrydau,
ar eu hafonydd, ac ar eu †camlesydd, ac ar eu holl † Heb. gasgliad eu dyfroedd.
lynnau, fel y byddont yn waed; a bydd gwaed drwy
holl wlad yr Aipht, ac yn eu [llestri] coed, a cher- Gen 1, 10
rig hefyd.
20 Felly Moses ac Aaron a wnaethant fel y gorch-
ymynnase'r Arglwydd, ac efe a * gododd ei wial- * Pen 17, 5
en ac a darawodd y dyfroedd y rhai [oeddynt] yn
yr afon yng-wydd Pharao, ac yng-wydd ei weis-
ion: a'r holl ddyfroedd y rhai [oeddynt] yn yr afon
a droiwyd yn [z] waed. z Sal 78, 15
21 A'r pysc y rhai oeddynt yn yr afon a [a] fuant Dat 8, 8
feirw, a'r afon a [b] ddrewodd fel na alle yr Aipht- a Dat 8, 9 Ezec 47, 8
iaid yfed dwfr o'r afon: a gwaed oedd trwy [c] holl b Ier 2, 18. c Adn 18
wlad yr Aipht.
22 A swyn-wyr yr Aipht a [d] wnaethant y cyffe d Pen 8, 7, 8
lyb drwy eu swynion: a [e] chaledodd calon Pharao, e Adn 13
ac ni wrandawodd arnynt megis y llefarase 'r
Arglwydd.
23 Canys troes Pharao, a daeth iw dŷ, ac ni [f] os- f Pen 9, 21. Diar 22,
ododd hynn at ei galon. 17.
24 A'r holl Aiphtiaid a gloddiasant oddi am- 2 Bren 10, 31
gylch yr afon am ddwfr iw yfed; canys ni allent 2 Sam 13, 3
yfed o ddwfr yr afon.
25 Felly y cyflawnwyd saith o ddyddiau, wedi
i'r Arglwydd daro 'r afon.

## PEN. VIII.

*6 Plâ o lyffaint ar Pharao. 8 Yntef yn ceisio gwared o honynt. 13 Ac er cael, heb fod yn well. 16 Y blâ o lau. 20 A'r blâ o amryw ormesiaid. 25 Pharao yn ceisio eu gwared. 31 Ac er cael, heb wellhau.*

A Dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, [g] Dos g Pen 5, 4
at Pharao, a dywet wrtho, Fel hyn y dywed- Ier 1, 17
odd yr Arglwydd, Gollwng ymmaith fy mhobl 18. Ezec 2, 5, 6
fel i'm gwasanaethant.
2 Ac os gwrthodi di [eu] gollwng, wele mi a
darawaf dy holl frô di a llyffaint.
3 A [phob] afon a heigia o lyffaint, y rhai a
ddringant, ac a ddeuant i'th dŷ, ac i stafell dy or-
weddle, ac ar dy wely; ac i dŷ dy weision, ac ar dy
bobl, ac i'th ffyrnau, ac ar dy ‖ fwyd gweddill. ‖ gafnau tylino.
4 A'r llyffaint a [h] ddringant arnat ti, ac ar dy h Sal 107, 40. a 83, 10
bobl, ac ar dy holl weision. Adn 22
5 Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrth Moses,
Dywet wrth Aaron, estyn dy law gyd a'th wialen
ar y ffrydoedd, ar yr afonydd, ac ar y camlesydd;
a gwna i lyffaint ddyfod ifynu ar hyd tir yr Aipht.
6 Ac Aaron a estynnodd ei law ar ddyfroedd yr
Aipht; a'r [i] llyffaint a ddaethant i fynu ac a [j] orch- i Salm 78, 45. Lef
uddiasant dir yr Aipht. 11, 12
7 A'r [k] swynwyr a wnaethant yr un modd drwy eu Dat 16, 13. Salm
swynion; ac a ddugasant i fynu lyffaint ar wlad yr 105, 30 j Adn 22
Aipht. k Pen 7, 11

8 Yna Pharao a alwodd am Moses, ac Aaron,
l Pen 5,2 ac a ddywedodd, [l]Gweddiwch ar yr Arglwydd ar
iddo ef dynnu y llyffaint oddi wrthifi ac oddi wrth
m Adn 26, 27 fy mhobl; a mi a [m] ollyngaf ymmaith y bobl fel yr
aberthant i'r Arglwydd.
9 A Moses a ddywedodd wrth Pharao, Cym-
mer ogoniant gennifi, Pa amser y gweddiaf trosot,
a thros dy weision, a thros dy bobl, am ddifa y
llyffaint oddi wrthit, ac o'th dai; ai gadael yn unic
n Pen 7, 21 Adn 15 yn [n]yr afon?
10 Ac efe a ddywedodd, Y foru; a dywedodd
o Sal 83, yntef, Yn ol dy air [y bydd,] [o]fel y gwypech nad
10, a 9,16 [oes neb] fel yr Arglwydd ein Duw ni.
11 A'r llyffaint a ymadawant a thi, ac a'th dai, ac
a'th weision, ac a'th bobl; yn unic yn yr afon y gad-
ewir hwynt.
12 Yna Moses ac Aaron a aethant allan oddi wrth
p Pen 32, Pharao; a Moses a [p]lefodd ar yr Arglwydd o achos
10. Ezec 36, 37 y llyffaint, y rhai a osodase efe ar Pharao.
Iago 5, 17, 18 13 A'r Arglwydd a wnaeth [q]yn ol gair Moses; a'r
q Adn 9, 10, 11 llyffaint a fuant feirw o'r tai, o'r cynteddau, ac o'r
meusydd.
r Marc 6, 40 14 A chasclasant hwynt yn [r] bentyrrau; fel y
s Pen 7, [s]drewodd y wlad.
21. Esay 34, 3 15 Pan welodd Pharao fod [t]seibiant [iddo], yna
Ioel 2,20 Dat16,13 y caledodd ei galon, ac ni wrandawodd arnynt;
t Preg 8, 11 megis y llefarase 'r Arglwydd.
16 A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Dy-
u Adn 17 wet wrth Aaron, Estyn dy [u]wialen, a tharo lwch y
ddaiar; fel y byddo llau trwy holl wlad yr Aipht.
17 Ac felly y gwnaethant; canys Aaron a estyn-
nodd ei law gyd ai wialen, ac a darawodd lwch y
v Sal 105, 31 ddaiar, a bu [v] lau ar ddyn, ac ar anifail; holl lwch
y tir oedd yn llau drwy holl wlad 'r Aipht.
18 A'r swynwyr a geisiasant wneuthur yr un
w 1 Tim modd drwy eu swynion,[sef] dwyn llau allan, [w] ond
3, 8. Act 16, 18, 19 ni allasant; felly y bu y llau ar ddŷn, ac ar anifail.
Luc10,18 19 Yna y swyn-wyr a ddywedasant wrth Pharao,
x Luc 11, [x] Bŷs Duw [yw] hyn; etto caledase calon Pharao
20. Mat 12, 28 fel na wrandawe arnynt, megis y llefarase 'r Ar-
glwydd.
20 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Cyfot yn foreu, a saf ger bron Pharao, wele efe a
ddaw allan i'r dwfr; yna dywet wrtho, Fel hynn y
dywedodd yr Arglwydd, Gollwng ymmaith fy
mhobl fel i'm gwasanaethant.
21 O herwydd os ti ni ollyngi fy mhobl, wele fi
yn gollwng arnat ti, ac ar dy weision, ac ar dy
‡ heidiau ednog; neu, amryw fath o bryfed adeiniog bobl, ac i'th dai ‡ gymmysc-bla; a thai 'r Aiphtiaid
a lawnir o'r gymmysc-bla, a'r ddaiar hefyd yr hon
[y delont] hwynt arni.
22 A'r dydd hwnnw y naillduaf wlad Gosen yr
Sal 78,45 hon y mae fy mhobl yn aros ynddi, fel na byddo y
gymmysc-bla yno; fel y gwypech mai myfi 'r Ar-
glwydd [ydwyf] yng-hanol y wlad.
23 A mi a osodaf [arwydd] ymwared rhwng fy
mhobl innau fi a'th bobl di: y foru y bydd yr arwydd
hwn.
24 A'r Arglwydd a wnaeth felly, * canys daeth
cymmysc-bla drom i dŷ Pharao, ac i dai ei weis- * Deut 16, 9
ion, ac i holl wlad yr Aipht, [fel] y llygrwyd y ddaiar
gan y gymmysc-bla.
25 Yna Pharao a alwodd am Moses, ac Aaron,
ac a ddywedodd, Ewch, aberthwch i'ch Duw yn y
wlad [hon.]
26 A dywedodd Moses, Nid cymmwys [y] gwneuth- y Pen 3, 18
ur felly, o blegit nyni a aberthwn i'r Arglwydd ein 2 Cor 6,14
Duw beth ffiaidd gan yr Aiphtiaid; wele os aberth-
wn [z] ffieidd-beth yr Aiphtiaid yng-wydd eu llygaid z Gen 43,
hwynt, [a] oni labyddiant hwy ni? 32. a 46,
27 Taith tri diau 'r awn i'r anialwch; ac nyni a 34. Deut 7, 25. a 12, 30, 31
aberthwn i'r Arglwydd ein Duw, megis y [b] dywed- Esa 44,19
odd efe wrthym ni. Ezra 9,1
28 A dywedodd Pharao, Mi a'ch gollyngaf chwi a Gen 47, a 13, 9
fel yr aberthoch i'r Arglwydd eich Duw yn yr an- b Pen 10, 26. a 5,1,3
ialwch, ond nac ewch ym mhell; [c] gweddiwch trosof. a 3, 18
29 A dywedodd Moses, Wele myfi a âf allan Mat 28, 20. Act 5, 19
oddi wrthit, ac a weddiaf ar yr Arglwydd ar gilio c Adn 8, 29
y gymmysc-bla oddi wrth Pharao, ac oddi wrth ei Act 8, 24 Ezra 6,10
weision, ac oddi wrth ei bobl y foru; ond [d] na d 1 Bren 18, 27
thwylled Pharao mwyach heb ollwng ymmaith y Gal 6, 7
bobl i aberthu i'r Arglwydd. Iob 13, 9 Sal 78,34,
30 Felly Moses aeth allan oddi wrth Pharao, ac 36, 37 Adn 8
a weddiodd ar yr Arglwydd.
31 A gwnaeth yr Arglwydd yn ôl gair Moses, a'r
gymmysc-bla a giliodd oddi wrth Pharao, oddi
wrth ei weision, ac oddi wrth ei bobl; ni adawyd un.
32 Er hynny Pharao a galedodd ei galon y waith
honno hefyd; ac ni ollyngodd ymmaith y bobl.

## PEN. IX.

*Haint anifeiliaid. 8 Cornwydydd, a chenllysc. 27 Pharao yn cydnabod ei fai. 33 Y taranau a'r cesair yn peidio, drwy weddi Moses.*

YNA y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
[e] Dos at Pharao, a llefara wrtho ef, Fel hyn e Pen 8,1
y dywedodd Arglwydd Dduw yr Hebræaid, Goll- Gal 6, 9
wng ymmaith fy mhobl fel i'm gwasanaethant. Am 7, 13
2 O blegit os gwrthodi di [eu] gollwng ymmaith;
ac attal o honot hwynt etto,
3 Wele [f] llaw 'r Arglwydd fydd ar dy anifeiliaid, f Pen 8,19
y rhai [ydynt] yn y maes, ar feirch, ar assynnod, ar
gamelod, ar y gwarthec, ac ar y defaid, [y daw]
[g] haint drom iawn. g Pen 5,3
4 A'r Arglwydd a [h] nailltua rhwng anifeiliaid h Pen 8, 22. Mal
Israel, ac anifeiliaid yr Aiphtiaid; fel na byddo 3, 18
marw dim o gwbl [ar sydd] eiddo meibion Israel.
5 [i] A gosododd yr Arglwydd amser nodedic gan i Preg 3, 1, 11
ddywedyd, [j] Y foru y gwna 'r Arglwydd y peth j Pen 8,23
hyn yn y wlad [hon.]
6 A'r Arglwydd a wnaeth y peth hyn drannoeth;
canys bu feirw [k] holl anifeiliaid yr Aiphtiaid; ond k Adn 19, 25. Sal
o anifeiliaid meibion Israel, ni bu farw un. 78, 50
7 A Pharao a anfonodd, ac wele ni buase farw
gymmaint ac un o anifeiliaid Israel; er hynny [l] ca- l Pen 7, 14
ledodd calon Pharao, ac ni ollyngodd y bobl.
8 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,

ac wrth Aaron, Cymmerwch iwch [m] loned eich llaw o ludw ffwrn; a thaned Moses ef tua 'r nefoedd yng-wydd Pharao,

m Pen 8, 16. Amos 4, 13

9 Ac efe fydd yn llwch ar holl dîr yr Aipht; ac a fydd ar ddyn ac ar anifail yn [n] gornwyd [o] llinorec trwy holl wlad yr Aipht.

n Lef 13, 18, 19, 20 o Deut 28, 27 Dat 16, 2

10 Yna y cymmerasant ludw 'r ffwrn, ac a safasant ger bron Pharao, a Moses ai tanodd tua 'r nefoedd: ac efe aeth yn gornwyd chwysigennoc ar ddŷn ac ar anifail.

11 A'r swyn-wyr [p] ni allent sefyll ger bron Moses gan y cornwyd; o blegit yr oedd y cornwyd ar y swynwyr, ac ar yr holl Aiphtiaid.

p 2 Tim 3, 8, 9 Pen 7, 11, 12. a 8, 18, 19. Dat 16, 2

12 Er hynny 'r Arglwydd a [q] galedase galon Pharao fel na wrandawe arnynt; megis y * llefarase yr Arglwydd wrth Moses.

q Dat 16, 11 *Pen 4, 21

13 Yna 'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses, Cyfot yn foreu, a saf ger bron Pharao; a dywet wrtho, Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw 'r Hebræaid, Gollwg fy mhobl i'm gwasanaethu.

14 Canys y waith hon yr anfonaf fy holl blagau ar [r] dy galon, ac ar dy weision, ac ar dy bobl; fel y gwypech nad oes fyng-hyffelyb yn yr holl dir.

r Mica 6, 13 1 Bren 8, 38. Esay 6, 8

15 O herwydd yn awr mi a [s] estynnaf fy llaw, ac a'th darawaf di, a'th bobl a haint y nodau; a thi a ddinistrir o'r tir.

s Adn 3, 6, 16

16 Ac yn ddiau * er mwyn hynn i'th † gyfodais di i [u] ddangos it fy nerth; ac i fynegu fy [v] enw drwy 'r holl dir.

*Rhuf 9, 17 u Pen 6, 9 v Gen 6, 20. Salm 83, 17, 18

17 Tithe [w] ydwyt yn ymdderchafu ar fy mhobl; etto heb eu gollwng hwynt ymmaith.

w Esay 26, 11

18 Wele mi a lawiaf yng-hylch yr amser ymma y foru genllysc trymmion iawn: y rhai ni bu eu math yn yr Aipht o'r dydd y sylfaenwyd hi hyd yr awr hon.

19 Anfon gan hynny yn awr, cascl dy anifeiliaid, a phob dim ar y sydd it yn y maes; pob dŷn; ac anifail yr hwn a gaffer yn y maes, ac nis cascler i dŷ, y descyn y cenllysc arnynt, ac a fyddant feirw.

20 Yr hwn a [x] ofnodd air yr Arglwydd o weision Pharao a yrrodd ei weision, ai anifeiliaid i dai.

x Ioan 3, 6

21 A'r † hwn nid ystyriodd air yr Arglwydd, a adawodd ei weision, ai anifeiliaid yn y maes.

† Heb. yr hwn ni osododd ei galon ar

22 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses, Estyn dy law tua'r nefoedd, fel y byddo cenllysc yn holl wlad yr Aipht; ar ddŷn ac ar anifail, ac ar holl lyssiau y maes o fewn tir yr Aipht.

23 Yna Moses a estynnodd ei wialen tu a'r nefoedd, a'r Arglwydd a roddodd [y] daranau a [z] chenllysc, ac aeth [a] tân ar hyd y ddaiar, a chafododd yr Arglwydd genllysc ar dir yr Aipht.

y Dat 6, 1 Pen 19, 16 20, 18 z Ios 10, 11. Iob 38, 22, 23 a Sal 78,

24 Felly'r ydoedd cenllysc, a thân yn ymgymmeryd yng-hanol y cenllysc, yn drwm iawn, yr hwn [b] ni bu ei fath yn holl wlad yr Aipht, er pan ydoedd yn genhedlaeth.

b Adn 23 Sal 105, 32

25 A'r cenllysc a gurodd drwy holl wlad yr Aipht gwbl ar [oedd] yn y maes, yn ddyn, ac yn anifail: y cenllysc hefyd a gurodd holl lyssieu y maes, ac a ddrylliodd holl goed y maes.

26 Yn unic yng-wlad Gosen, yr hon yr ydoedd meibion Israel ynddi, [c] nid oedd cenllysc.

c Pen 8, 22. Esa 32, 18

27 A Pharao a anfonodd, ac a alwodd ar Moses, ac Aaron, a dywedodd wrthynt, [d] Pechais y waith hon: yr Arglwydd sydd gyfiawn, a minne a'm pobl yn annuwiol.

d Pen 10, 16. 1 Sam 26, 21

28 [e] Gweddiwch ar yr Arglwydd, (canys digon [yw hyn]) na byddo † taranau Duw na chenllysc, ac mi a'ch gollyngaf, ac ni arhoswch mwy.

e Pen 8, 28 † Heb. llef, Sal. 29, 3, 4

29 A dywedodd Moses wrtho, Pan elwyf allan o'r ddinas, mi a [f] ledaf fy nwylaw at yr Arglwydd; [a'r] taranau a beidiant, a'r cenllysc ni bydd mwy, fel y gwypech mai'r [g] Arglwydd piau'r ddaiar.

f Adn 33 2 Cron. 6, 13. Sal. 143, 6 g Sal. 24. 1 1 Cor. 10 26. Deut. 10. 14. Sal. 135, 6

30 Ond mi a wn [h] nad ydwyt ti etto na'th weision yn ofni wyneb yr Arglwydd Dduw.

h Diar. 16, 6

31 A'r llîn a'r haidd a gurwyd; canys yr haidd [oedd] wedi hedeg, a'r llîn wedi hadu.

32 Ond y gwenith a'r rhŷg ni churwyd: o herwydd diweddar [oeddynt] hwy.

1 Bren. 18, 42

33 Yna Moses a aeth oddi wrth Pharao allan o'r ddinas, ac a ledodd ei ddwylo at yr Arglwydd; a'r taranau a'r cenllysc a beidiasant, [i] ac ni ddefnynnodd glaw ar y ddaiar.

i Iago 5, 17, 18 Pen. 10, 18, 19

34 Pan welodd Pharao beidio o'r glaw, a'r cenllysc, a'r taranau, yna efe a chwanegodd bechu: canys caledodd [j] ei galon ef ai weision.

j Pen 7, 14 2 Cron. 28, 22

35 Ie caledodd calon Pharao fel na ollynge efe feibion Israel ymmaith: megis y llefarase 'r Arglwydd trwy law Moses.

a 36, 13 Pen. 4, 21

## PEN. X.

*Cyndynrwydd Pharao. 4 Y locustiaid. 16 Cyffes Pharao. 19 Gweddi Moses. 21 Tywyllwch anferthol.*

A DYWEDODD yr Arglwydd wrth Moses, Dos at Pharao; o herwydd mi a [k] galedais ei galon ef, a chalon ei weision, fel y gosodwn fy arwyddion hyn yn ei fysc ef.

k Pen. 7, 14. Sal. 7, 11

2 Ac fel y [l] mynegit wrth dy fab, a mab dy fab, yr hyn a wneuthum yn yr Aipht, a'm harwyddion y rhai a osodais yn eu plith hwynt: ac y gwypoch mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.

l Pen 13, 8 Sal. 44, 1 Eph. 6, 4

3 A daeth Moses ac Aaron at Pharao, a dywedasant wrtho, Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw'r Hebræaid, Pa hyd y gwrthodi [m] ymostwng ger fy mron? gollwng ymmaith fy mhobl fel i'm gwasanaethant:

m Rhuf. 2, 4 Esay 1, 5

4 O herwydd os ti a wrthodi ollwng fy mhobl, wele y foru y dygaf [n] locustiaid i'th fro,

n Diar. 30, 27

5 Y rhai a orchuddiant wyneb y ddaiar, fel na allo [un] weled y ddaiar; ac hwy a yssant y [o] gweddill, yr hwn a adawyd i chwi 'n ddiangol gan y cenllysc, difaant hefyd bob pren a fyddo yn blaguro iwch yn y maes.

Adn. 17 o Pen. 9, 32 Ioel 1, 4

6 Llanwant hefyd dy dai di, a thai dy holl weision, a thai'r holl Aiphtiaid, y cyfryw ni welodd dy dadau, na thadau dy dadau, er y dydd y buont

ar y ddaiar hyd y dydd hwn: yna efe a drôdd, ac
a aeth allan oddi wrth Pharao.
7 A gweision Pharao a ddywedasant wrtho, Pa
p Pen. 23, 33. hyd y bydd hwn yn [p] fagl i ni? gollwng ymmaith y
Ios. 23, 13. gwŷr, fel y gwasanaethant yr Arglwydd eu Duw:
1 Sam. 18, 21. oni wyddost ti etto [q] ddifetha 'r Aipht?
Diar. 29, 6. 8 A dychwelwyd Moses ac Aaron at Pharao, ac
q Sal. 107, 34. efe a ddywedodd wrthynt, Ewch gwasanaethwch
yr Arglwydd eich Duw: Pa rai sy'n myned?
r Preg. 12, 1. 9 A Moses a ddywedodd, A'n [r] llangciau, ac a'n
Eph. 6, 4. henafgwyr yr awn ni; a'n meibion hefyd, ac a'n
Ios. 24, 15. merched, a'n [s] defaid, ac a'n gwarthec yr awn ni;
a Diar. 3, 9. o blegit rhaid i ni [gadw] [t] gŵyl i'r Arglwydd.
t Pen. 5, 1. 10 Ac efe a ddywedodd wrthynt, [u] Yr un modd y
u Pen. 12, 30, 31. byddo 'r Arglwydd gyd a chwi, ac y gollyngaf chwi
a 13, 31. v Ier. 18, 8. a'ch plant; [v] gwelwch mai ar ddrwg y mae eich brŷd.
11 Nid felly, ewch, yn awr y gwŷr, a gwasanaeth-
w Sal. 119, 69. wch yr Arglwydd, canys hynn yr [w] oeddych yn ei
a 52, 3. geisio: felly hwynt a wthiwyd o wydd Pharao.
12 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Estyn dy law ar wlad yr Aipht am locustiaid, fel
y deuant ar dir yr Aipht; ac y bwytaant holl lyss-
ieu y ddaiar [sef] cwbl ar a adawodd y cenllysc.
13 Felly Moses a estynnodd ei wialen ar dir yr
x Gen. 41, 7. Aipht, a'r Arglwydd [x] a ddug ddwyrein-wynt ar
y tir yr holl ddiwrnod hwnnw, a'r holl nos honno;
y Sal. 105, 34, 35. a[phan] ddaeth y borau gwynt y dwyrain a ddug [y]
Deut. 28, 38. locustiaid.
Dat. 9, 3, 5, 7. 14 A'r locustiaid a ddaethant ar holl wlad yr
Aipht, ac a arhosasant ym mhob ardal i'r Aipht;
z Adn. 5. Ioel 1, 2, 3. yn [z] drwm iawn; [a] ni bu y fath locustiaid oi blaen
a Pen. 11, 6. hwynt, ac ar eu hol ni bydd y cyffelyb.
15 Canys toasant wyneb yr holl dir, a thywyllodd
b Salm. 78, 46. y wlad, a hwynt a [b] yssasant holl lyssiau y ddaiar,
a 105, 34. a holl ffrwythau y coed, yr hyn a weddilliase y
cenllysc; ac ni adawyd dim gwyrddlesni ar goed,
nac ar lyssieu y maes o fewn holl wlad yr Aipht.
16 Am hynny Pharao a alwodd am Moses ac
c Pen. 9, 27. Aaron, ar frŷs, ac a ddywedodd, [c] Pechais yn erbyn
1 Sam. 26, 21. yr Arglwydd eich Duw, ac yn [d] eich erbyn chwithau.
d 1 Sam. 15, 24. 17 Ac yn awr maddeu di attolwg fy mhechod y
Num. 21, 7. waith hon yn unic, a [e] gweddiwch ar yr Arglwydd
e 1 Bren. eich Duw; ar iddo dynnu oddi wrthif yn [f] unic y
16, 6. Pen. 8, 28. farwolaeth hon.
a 9, 28. Rhuf. 15, 30. 18 A [Moses] a aeth allan oddi wrth Pharao; ac
f 2 Bren. 4, 40. a [g] weddiodd ar yr Arglwydd.
g Mat. 5, 44. 19 A'r Arglwydd a drodd wynt gorllewin crŷf
Pen. 8, 28. iawn, ac efe a gododd ymmaith y locustiaid, ac
h Heb. 11, 29. ai bwriodd hwynt i'r [h] môr coch: ni adawyd un
locust o fewn holl derfynau 'r Aipht.
i Pen. 4, 21. 20 Er hynny [i] caledodd yr Arglwydd galon Pha-
rao; fel na ollynge efe feibion Israel ymmaith.
21 A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Es-
* Doeth. 17, 2. tyn dy law tua 'r nefoedd fel y byddo tywyllwch ar
j Dat. 16, 10. dir yr Aipht; ac y [gellir] teimlo y tywyllwch.
Iob 24, 13. 22 Felly Moses a estynnodd ei law, tua 'r nef-
Mat. 5, 14. oedd; [*] a bu [j] dywyllwch niwloc drwy holl wlad
yr Aipht dri diwrnod.
23 Ni [k] wele neb ei gilydd, ac ni chododd neb oi k Iob 18, 5.
le dri diwrnod: ond [*] yr ydoedd [l] goleuni i holl * Doeth. 18, 1.
feibion Israel yn eu trigfannau. l Pen. 9, 26.
24 Yna y galwodd Pharao am Moses ac Aaron,
ac a ddywedodd, Ewch gwasanaethwch yr Ar-
glwydd, arhoed eich defaid a'ch gwarthec yn un-
ic: [m] aed eich plant hefyd gyd a chwi. m Pen. 9, 6.
25 A dywedodd Moses, Ti a roddi hefyd yn ein
dwylo [n] ebyrth a phoeth offrymmau; fel yr aber- n Lef. 9,
thom i'r Arglwydd ein Duw. 22. a 16, 9. Pen. 29,
26 Am hynny 'r aiff ein hanifeiliaid hefyd gyd a 36, 39, 41.
ni, ni adewir [o] ewin, o blegit o honynt y cymmer- o Gen. 31, 18.
wn i wasanaethu 'r Arglwydd ein Duw; canys ni Deut. 17, 16.
wyddom a pha beth y gwasanaethom yr Arglwydd, Hos. 9, 3.
hyd oni ddelom yno.
27 Ond yr Arglwydd a [p] galedodd galon Pha- p Pen. 4,
rao, fel nad oedd efe foddlon iw gollwng hwynt. 21.
28 A dywedodd Pharao wrtho, Dos oddi wrthif;
gwilia arnat rhac [q] gweled fy wyneb mwy, o blegit q Heb. 11,
y dydd y gwelech fy wyneb y byddi farw. 27. Dat. 16, 10, 11.
29 A dywedodd Moses, [r] inion y dywedaist; ni a 9, 20.
welaf dy wyneb mwy. r Pen. 11, 4.

## PEN. XI.

*Yr Arglwydd yn peri i'r Hebræaid fenthygio tlysau gan yr Aiphtiaid. 5 Marwolaeth y cyntaf-anedic.*

A'R Arglwydd a ddywedase wrth Moses,
Un blâ etto a ddygaf ar Pharao, ac ar yr
Aiphtiaid, wedi hynny efe a'ch gollwng chwi ym-
maith oddi ymma: pan ollyngo efe yn gwbl, gan a Pen. 12,
wthio efe a'ch [s] gwthia chwi oddi ymma. 31, 33.
2 Dywet yn awr lle y clywo 'r bobl; am [t] geisio* t Pen. 12, 1, 2.
o honynt bôb gwr gan ei gymydog, a phob gwraig * Pen. 3,
gan ei chymydoges ddodrefn arian, a dodrefn aur. 22.
3 A'r Arglwydd a roddodd i'r bobl [u] ffafor yng- u Sal. 106,
olwg yr Aiphtiaid: [v] ac [yr ydoedd] [*] Moses yn 46. Pen. 12,
wr mawr iawn yng-wlad yr Aipht yng-olwg gweis- 36. Act. 2, 47.
ion Pharao, (ac yng olwg y bobl.) Pen. 3,
4 Moses hefyd a ddywedodd, Fel hynn y llefar- 21. Gen. 39, 21.
odd yr Arglwydd; [w] yng-hylch hanner nos yr afi v 2 Sam. 7, 9.
allan i ganol yr Aipht: Est. 9, 4.
5 A phôb cyntaf-anedic yng-wlad yr Aipht a * Heb. 11, 28.
fydd marw, [x] o gyntaf-anedic Pharao yr hwn sydd w Pen.
yn eistedd ar ei deyrn-gader ef, hyd gyntaf-anedic 12, 23. Am. 5, 17.
y wasanaeth-ferch yr hon [sydd] [y] ar ol y felin; a x Pen. 12, 29.
phôb cyntaf-anedic o anifail. y Pen. 12,
6 Yna y bydd gweiddi mawr drwy holl wlad yr 29. Mat. 24, 41.
Aipht; yr hwn ni bu ei fath, ac ni bydd mwyach
ei gyffelyb.
7 Ond ym mysc meibion Israel ni symmud [z] ci ei z Ios. 10,
dafod ar ddŷn nac anifail; fel y gwypoch mai'r Ar- 21. Iob 5, 16.
glwydd a naillduodd rhwng yr Aiphtiaid ac Israel.
8 A'th holl weision hynn a ddeuant i wared attafi,
ac a [a] ymgrymmant i mi, gan ddywedyd, Dos allan, a Esay 49, 23.
a'r holl bobl y rhai [ydynt] ar dy ol, ac wedi
hynny 'r afi allan: felly efe a aeth allan oddi wrth
Pharao mewn digllonedd llidioc.

9 A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Ni
b Rhuf. 9, 16 wrendu Pharao arnoch; fel yr amlhaer fy b rhyfedd-
odau yng-wlad yr Aipht.
10 Felly Moses ac Aaron a wnaethant yr holl
ryfeddodau hyn ger bron Pharao; a'r Arglwydd
c Rhuf. 2, 5. a 9, 18 a c galedodd galon Pharao, fel na ollynge efe feibion
Ioan 12, 37, 39 Israel allan o'i wlad.

## PEN. XII.

1 *Bwytta yr oen Pasc.* 26 *Bod ar dadau a mammau ddangos i'w plant ddirgelwch y sacrament hwn.* 29 *Lladdedigaeth y cyntaf-anedic.* 35 *Yr Iddewon yn yspeilio yr Aiphtiaid.* 37 *Ac yn myned o'r Aipht.* 43 *Ychwanegu o athrawiaeth am yr oen Pasc.*

YR Arglwydd hefyd a lefarodd wrth Moses, ac
wrth Aaron yn nhîr yr Aipht, gan ddywedyd,
d Pen. 13, 4. 2 d Y mis hwn [fydd] i chwi yn ddechreuad y mis-
oedd; cyntaf [fydd] i chwi o fisoedd y flwyddyn.
3 Lleferwch wrth holl gynnulleidfa Israel gan
e Ios. 4, 19 Ioan 12, 1, 13 ddywedyd, Ar y e decfed [dydd] o'r mis hwn, cym-
merant iddynt bob un f oen, yn ol teulu [eu] tadau,
Ad. 6, 17, 18, 19 [sef] oen dros bob teulu.
f Ioan 1, 29 4 Os llai fydd y teulu nac y gallo fwytta yr oen,
1 Cor. 5, 7 yna cymmered efe hefyd ei gymmydog nessaf i'w
g Matth. 26, 18 dŷ, wrth y rhifedi o ddynion, g pob un yn ol ei
fwytta a gyfrifwch at yr oen.
h 1 Pedr 1, 19 5 Bydded yr oen gennych yn h berffaith-gwbl, yn
Mal. 1, 14 wrryw, [ac] yn llwdn blwydd: o'r defaid neu o'r
geifr y cymmerwch [ef.]
i Lef. 23, 5 6 A bydded ynghadw gennych hyd y i pedwerydd
j 2 Cron. 30, 15 dydd ar ddec o'r mis hwn; yna lladded j holl dyrfa
k Ioan 11 9. cynnulleidfa Israel ef, k yn y † cyfnos.
Marc 15, 25, 33, 34 7 A chymmerant o'r gwaed, a l rhoddant ar y
† Heb. rhwng y ddau hwyr. ddau ystlys-bost ac ar m gappan y drws, yn y tai
y rhai y bwytaant ef ynddynt.
l Heb. 9, 13 8 A'r cig a fwytânt y nos honno, wedi ei rostio
m Heb. 10 29 [wrth] dân, n a bara croiw gyda [o dail] surion y
n 1 Cor. 5, 8 bwytaant ef.
o Pen. 1, 14 9 Na fwyttewch o hono yn p amrwd, nac yn ferw-
p Ioan 19, 36 edic wedi ei ferwi mewn dwfr, eithr wedi ei q rostio
q Matth. 3, 11 [wrth] tân, ei ben gyd a'i draed, a'i berfedd [a fwy-
tewch.]
10 Ac na weddilliwch [ddim] o honaw hyd y
boreu: ond yr hyn fydd yng-weddill o honaw
r Col. 2, 16 erbyn y boreu, r llosgwch yn tân.
s 1 Pedr 1, 13 11 Ac fel hyn y bwyttewch ef, s Wedi ymwregysu
eich lwynau, a'ch escidiau am eich traed, a'ch ffynn
t Matth. 11, 12 yn eich dwylo; a bwytewch ef t ar ffrwst, [canys]
Pasc i'r Arglwydd [ydyw] efe.
12 O herwydd mi a drammwyaf drwy wlad yr
Aipht y nos honno, ac a darawaf bob cyntaf-anedic
o fewn tir yr Aipht, yn ddŷn, ac yn anifail: a mi a
u Esa. 19, 1 wnaf farn yn erbyn u holl § dduwiau 'r Aipht, myfi
§ Dywysogion. [ydwyf] yr Arglwydd.
13 A'r gwaed fydd i chwi yn arwydd ar eich tai
v 1 Ioan 1, 7 lle [y byddoch] chwi: pan welwyf y gwaed yna'r v
Thes. 1, 10 af heibio i chwi: felly ni bydd plâ dinistriol yn eich
mysc chwi pan darawyf dir yr Aipht.

14 A'r dydd hwn fydd yn goffadwriaeth iwch, a
chwi a'i cedwch ef yn ŵyl arbennic i'r Arglwydd;
yn eich oesoedd y cedwch ef yn w ŵyl drwy x ddeddf w Pen. 5, 1 Deut. 16,
dragywyddol. 11. Neh.
15 y Saith niwrnod y bwytewch fara croiw, y 8, 9, 12 x 1 Cor.
dydd cyntaf y gwnewch na byddo z sur-does o 5, 7, 8 Deut. 16, 1
fewn eich tai: o herwydd pwy bynnac a fwyttu y Lef. 23,
fara lefeinllyd o'r dydd cyntaf hyd y seithfed dydd, 5, 6, 7, 8 Deut. 16,
yr enaid hwnnw a dorrir ymmaith oddi wrth Israel. 3, 5, 8 z 1 Cor.
16 Ar y dydd cyntaf hefyd [y bydd] i chwi b gym- 5, 7 Luc 12, 1
anfa sanctaidd, a chymanfa sanctaidd ar y seith- Mat 16, 12
fed dydd; c dim gwaith ni wneir ynddynt, ond yr a Gen. 17, b Lef. 23,
hyn a fwyta pob dyn yn unic a geir ei arlwyo i chwi. 2, 3, 7, 21 24, 27, 35
17 Cedwch hefyd [ŵyl] y bara croiw, o herwydd c Pen. 16,
o fewn corph y dydd hwn y d dygaf eich lluoedd 5, 23, 29 d Num.
chwi allan o wlad yr Aipht: am hynny cedwch y 20, 16
dydd hwn yn eich oesoedd, drwy ddeddf dragy-
wyddol.
18 Yn y [mis] cyntaf, ar y pedwerydd dydd ar
ddec o'r mis y bwytewch fara croiw yn y cyfnos;
hyd yr unfed dydd ar hugain o'r mis yn yr hwyr.
19 Na chaffer e surdoes yn eich tai saith niwrnod; e Adn. 15
canys pwy bynnac a fwyttu fara lefeinllyd, yr enaid
hwnnw a dorrir ymmaith o gynnulleidfa Israel, yn
gystal y f dieithr a'r priodor. f Adn. 43,
20 Na fwyttewch ddim lefeinllyd; bwytewch 48
fara croiw yn eich holl gyfanneddau.
21 A galwodd Moses am holl henuriaid Israel,
ac a ddywedodd wrthynt, Tynnwch a chymmer-
wch i chwi oen drwy eich teuluoedd, a lleddwch
yr g [oen] Pasc. g 1 Cor.
22 A chymmerwch dussw o h yssop, a throch- 10, 4 h Heb. 9,
wch yn y gwaed yr hwn [a fyddo] mewn cawg, a 19
rhoddwch ar i gappan y drws, ac ar y ddau ystlys- i 1 Pedr 1, 2
bost, o'r gwaed yr hwn [fyddo] yn y cawg; ac nac Heb. 9, 14
ewch chwithau j allan neb o ddrws ei dŷ hyd y j Mat. 26, 30. Act.
borau. 2, 47
23 O herwydd yr Arglwydd a bassia i daro 'r
Aipht, a phan welo efe y gwaed ar gappan y drws,
ac ar y ddau ystlys bost; yna 'r Arglwydd a bas-
sia heb law'r drws * ac ni âd i'r dinistrudd ddyfod * Heb: 11,
i'ch tai chwi i ddinistrio. 28 Num. 20,
24 Am hynny cedwch y peth hynn, yn ddeddf i 16
ti, ac i'th feibion yn dragywydd.
25 A phan ddeloch i'r wlad yr hon a rydd yr
Arglwydd i chwi megis y dywedodd; yna y ced-
wch y gwasanaeth hwn.
26 A k * phan ddywedo eich meibion wrthich, k Pen. 13,
Pa wasanaeth [yw] hwn gennych? 46. Sal.
27 Yna y dywedwch, Aberth Pasc yw ef i'r Ar- 78, 6. * Ios. 4, 6
glwydd yr hwn a bassiodd heb law tai meibion Deut. 32,
Israel yn yr Aipht, pan darawodd efe yr Aipht, 7
ac yr achubodd efe ein tai ni; yna yr ymgrym-
modd y bobl, ac yr addolasant.
28 A meibion Israel a aethant, ac a wnaethant

PEN. XI. adn. 8.] Yr oedd Moses yn wr llariaidd iawn, Num. xii. 3 ond yna gwelwn ef yn ddigllon iawn; sef wrth ddyn a ymgaledodd dan geryddon Duw: felly y bydd deddf a Duw Moses hefyd yn flidiog wrth yr anuwiol a'r diedifeiriol yn nyd y farn. Rhuf. ii. 5, 8.

[l]megis y gorchymynnase'r Arglwydd wrth Moses, ac Aaron, felly y gwnaethant.

29 Ac[m]*ar hanner nos y tarawodd yr Arglwydd bob [n]cyntaf-anedic yng wlad yr Aipht, o gyntafanedic Pharao'r hwn a eisteddе ar ei frenhin-faingc ef, *hyd gyntaf-anedic y gaethes yr hon [oedd] yn y carchar-dy; a phob cyntaf-anedic i anifail.

30 Yna Pharao a gyfododd liw nos, efe ai holl weision, a'r holl Aiphtiaid, ac yr oedd [o]gweiddi mawr yn yr Aipht; o blegit nid [oedd] dŷ ar nad [ydoedd] un marw ynddo.

31 Ac efe a [p]alwodd ar Moses ac Aaron liw nos, ac a ddywedodd, Codwch, ewch allan o fysg fy mhobl, chwi a meibion Israel hefyd: ewch a gwasanaethwch yr Arglwydd fel y dywedasoch.

32 Cymmerwch eich defaid, a'ch gwarthec hefyd fel y dywedasoch, ac ewch ymaith; [q]a bendithiwch finne.

33 A'r Aiphtiaid a fuant [r]daerion ar y bobl gan eu gyrru ar ffrwst allan o'r wlad: o blegit dywedasant, [[s]Dynion] meirw ydym oll.

34 Am hynny y cymmerodd y bobl [t]eu toes cyn ei lefeinio: ai toes oedd wedi rwymo yn eu dillad ar eu hyscwyddau.

35 A meibion Israel a wnaethant yn ol gair Moses; ac a geisiasent *gan yr Aiphtiaid dlysau arian, a thlysau aur, a gwiscoedd.

36 A'r Arglwydd a roddase i'r bobl [u]hawddgarwch yng-olwg yr Aiphtiaid fel yr [v]echwynasant iddynt; felly'r yspeiliasant yr Aiphtiaid.

37 *Yna meibion Israel a aethant o [w]Rameses i Succoth; yng-hylch [x]chwe chant mil o wŷr traed, heblaw plant.

38 A [y]phobl gymmysc lawer aethant i fynu hefyd gyd a hwynt; defaid hefyd a gwarthec [a] chyfoeth trwm iawn.

39 A hwynt a bobasant y toes yr hwn a ddygasent allan o'r Aipht yn deisennau croiw, o herwydd nad [oedd ganddynt] sur-does; canys [z]gwthiasid hwynt o'r Aipht, fel nad allasant aros, ac ni pharatoesant iddynt eu hun lyniaeth.

40 A [a]phresswyliad meibion Israel tra y trigasant yn yr Aipht [oedd] [b]ddeng mhlynedd ar hugain, a phedwar can mhlynedd.

41 Ac ym mhen y deng-mhlynedd ar hugain a phedwar can mhlynedd, ie o [c]fewn corph y dydd hwnnw, yr aeth holl luoedd yr Arglwydd allan o wlad yr Aipht.

42 Nos yw honiw chadw i'r Arglwydd pan ddygwyd hwynt allan o wlad yr Aipht: nos yr Arglwydd yw hon i holl feibion Israel iw chadw drwy eu hoesoedd.

43 Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrth Moses, ac Aaron, Dymma ddeddf y Pasc; [d]na fwytaed neb dieithr o honaw.

44 Ond pob gwasanaethwr wedi ei [e]brynnu am arian; pan enwaedech ef, yna a [f]fwyttu o honaw.

l Heb. 11, 28. m 1 Thes. 5, 2, 3. Iob 34. 20. * Pen. 11, 4. n Sal. 105, 36. Heb. 12, 23. Sal 78, 51. * Doeth. 18, 5. o Pen 11. 6. Diar. 21, 13. Iago 2, 13. p Pen 10, 29. q Pen. 8, 28. a 9, 28. r Pen 11, 1. s Sal 105, 38. Gen. 20, 3. t Pen 8, 39. * Pen. 3, 21 a 11, 2. Ios. 14, 6. u Diar. 16, 7. Pen. 3, 21. v Gen. 15, 14. * Num. 33, 5. w Gen. 47, 11. x Sal. 105, 37. Gen. 15, 5. y Num. 11, 4. z Pen. 6, 1. a Act. 13, 17. Heb. 11, 9. b Gen. 12, 1, 2, 3 a 15, 18. Gal. 3, 16, 17. c Hab 2, 3. Sal 102, 13. d Gen. 17, 12. Num. 9, 2, 3. e Gen. 17, 12, 13. f Num. 19, 11.

45 Yr [g]estron a'r gwas cyflog ni chaiff fwyta o honaw.

46 Mewn un tŷ y bwytteir efe, na ddwg [ddim] o'r cig allan o'r tŷ, * ac na thorrwch ascwrn ynddo ef.

47 Holl gynnulleidfa Israel a [h]wnant hynny.

48 A phan arhoso [i]dieithr gyda thi, a cheisio cadw [k]Pasc i'r Arglwydd, enwaeder ei holl yrfiaid ef, ac yna [l]nesaed i wneuthur hynny, a bydded megis yr hwn a aned yn y wlad; ond na fwyttaed [m]neb dienwaededic o honaw.

49 [n]Yr un gyfraith fydd i'r priodor, ac i'r dieithr a arhoso yn eich mysc.

50 Yna holl feibion Israel a wnaethant fel y gorchymynnase'r Arglwydd wrth Moses ac Aaron; felly y gwnaethant.

51 Ac o fewn corph y dydd hwnnw y dug yr Arglwydd feibion Israel o wlad yr Aipht yn ol eu lluoedd.

## PEN. XIII.

*1 Cyssegru y cyntafanedic i Dduw. 14 Bôd yn rhaid dyscu i'r plant beth yr oedd hynny yn ei arwyddocau, 17 Duw yn arwein y bobl i'r ffordd bellaf. 19 Moses yn dwyn escyrn Ioseph gyd ag ef. 21 Y golofn niwl a'r golofn dân.*

LLEFARODD yr Arglwydd hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

2 *Cyssegra i mi bob [o]cyntafanedic [sef] beth bynnac a [p]agoro grôth [yn gyntaf] ym mysc meibion Israel, o ddyn ac anifail; [canys] eiddo fi [yw] efe.

3 Yna y dywedodd Moses wrth y bobl, [q]Cofiwch y dydd hwn [ar] yr hwn y daethoch allan o'r Aipht o dŷ y caethiwed, o blegit trwy [r]law gadarn y dug yr Arglwydd chwi oddi yno; am hynny na fwytaer [s]bara lefeinllyd.

4 Heddyw yr ydych chwi yn myned allan; ar y mis Abib.

5 A phan ddygo yr Arglwydd di i wlad y Canaaneaid, a'r Hethiaid, a'r Amoriaid, yr Hefiaid hefyd a'r Iebusiaid, yr hon a dyngodd efe wrth dy dadau y rhodde efe i ti, [sef] gwlad yn llifeirio o laeth a mel; yna y gwnei y gwasanaeth ymma ar y mis hwn.

6 Saith niwrnod y bwyttei fara croiw; ac ar y seithfed dydd [bydded] [t]gŵyl i'r Arglwydd.

7 Bara croiw a fwyteir saith niwrnod: ac na weler bara lefeinllyd gyd a thi, ac na weler gennit surdoes yn dy holl frô.

8 A [u]mynega i'th fab y dydd hwnnw gan ddywedyd, o herwydd yr hyn a wnaeth yr Arglwydd i mi pan ddaethum allan o'r Aipht [y gwneir hyn.]

9 A bydded it yn [v]arwydd ar [w]dy law, ac yn goffadwriaeth rhwng dy lygaid, fel y byddo cyfraith yr Arglwydd yn dy [x]enau; o herwydd a llaw gadarn y dug yr Arglwydd dydi allan o'r Aipht.

10 Am hynny cadw y ddeddf hon yn ei hamser nodedic; o flwyddyn i flwyddyn.

11 A phan ddygo 'r Arglwydd di i wlad y Canaaneaid, megis y tyngodd efe wrthit, ac wrth dy dadau, ai rhoddi i ti,

g Lef. 22, 10. * Num. 9, 12. Ioan. 19, 33, 36. h Num. 9, 13. i Act. 2, 10. k Matth. 26, 18. l Gen. 17, 12, 13, 14. m Ezec. 44, 9. n Gal. 3, 28. Act. 15, 19. Num. 15, 15. * Pen. 22, 13. a 34, 19. o Lef. 27, 26. Num. 3, 13. p Luc 2, 23. q Pen. 13, 15. a 12, 14. r Pen. 6, 1. Luc 11, 20. s Pen. 12, 8. Mat. 16, 12. 1 Cor. 5, 8. t Lef. 23, 8. u Pen. 12, 26. Sal. 44, 1. a 78, 3. v Deut. 6, 8. w Diar. 3, 21 a 7, 23. Datg. 14, 1. Deut. 6, 6. x Ios. 1, 8.

12 Yna y * nailltui [y] bob cyntaf-anedic [o ddyn] i'r Arglwydd; ac [o] bob [z] cyntaf-anedic yr anifeiliaid, y rhai fyddant eiddo ti, dod y gwrwyaid i'r Arglwydd.

13 A phob cyntafanedic i [a] assyn a ryddheui di ag [b] oen, ac oni ryddheui di [ef,] yna [c] torfynygla ef, a phob dyn cyntaf-anedic o'th feibion a [d] brynni di hefyd.

14 A phan ofynno dy fab yn ol hyn, gan ddywedyd, [e] Beth [yw] hyn? yna dywet wrtho, A llaw gadarn y dug yr Arglwydd [f] ni allan o'r Aipht o dŷ y caethiwed.

15 Canys pan oedd [g] anhawdd gan Pharao ein gollwng ni, y lladdodd yr Arglwydd bob cyntaf-anedic yng-wlad yr Aipht, o gyntaf-anedic dŷn, hyd gyntaf-anedic anifail; a'm hynny 'r ydwyf yn aberthu i'r Arglwydd bob gwryw cyntaf-anedic, ond pob cyntaf-anedic o'm meibion a brynnaf.

16 A bydded hynny yn arwydd ar dy law, ac yn [h] ractalau rhwng dy lygaid, mai a llaw gadarn y dug yr Arglwydd ni allan o'r Aipht.

17 A phan ollyngodd Pharao y bobl, ni arweiniodd yr Arglwydd hwynt [i] drwy wlad y Philistiaid, er ei bod hi yn nes; o blegit dywedodd Duw, [Edrychwn] rhac i'r bobl edifarhau pan [j] welant ryfel, a dychwelyd o honynt i'r Aipht.

18 Ond Duw a arweiniodd y bobl o amgylch trwy [k] anialwch y môr coch; yn arfogion yr aeth meibion Israel allan o wlad yr Aipht.

19 A Moses a gymmerodd escyrn Ioseph gyd ag ef; o herwydd efe a wnelse i feibion Israel dyngu gan ddywedyd, Duw * a ymwel a chwi yn ddiau, dygwch chwithau fy escyrn oddi yimma gyd a chwi.

20 Yna 'r aethant o Sucoth; ac a wersyllasant yn Etham, yng-hwrr yr anialwch.

21 A'r * Arglwydd oedd yn myned oi blaen hwynt, y dydd mewn [l] colofn o niwl iw harwein ar y ffordd, ar nos mewn [m] colofn o dân i oleuo iddynt; fel y gallent fyned ddydd a nos.

22 Ni * syflodd efe y golofn niwl y dydd, na 'r golofn dân y nos, o flaen y bobl.

*Pen. 22, 29. 34, 19. Ezec. 44, 30. y Adn. 9. z Deut. 15, 4. a Pen. 34, 20. b Pen. 12, 3. c Deut. 14, 4. d Num. 18, 16. e Deut. 6, 10. Ios. 4, 22. Pen. 12, 26. f Esa. 66, 6. Mat. 1, 21. Hos. 12, 4. g Pen. 7, 3, 4. Iob. 9, 4. h Matth. 23, 5. Deut. 6, 8. i Num. 14, 25. j 1 Cron. 7, 21. 10, 13. Sal 103, 12. Gen. 19. k Adn 20. Num. 33, 8. *Gen. 50, 24. Ios. 24, 32. *Num. 14, 14. 1 Cor. 10, 9. Sal. 78, 14. Deut. 1, 33. l Barn. 20, 10. Sal. 99, 6. Esa. 4, 5, 6. m Pen. 14, 19. 1 Cor. 10, 2. *Neh. 9, 19.

## PEN. XIV.

*Duw yn dangos pa lê oref i'r bobl wersyllu. 4 Pharao yn erlid Israel. 10 Israel yn tuchan rhac ofn. 21 Y mor yn sychu i ollwng plant Israel trwyddo. 24 Ac yn boddi yr Aiphtiaid.*

A'R Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd,

2 Dywet wrth feibion Israel am ddychwelyd a gwerssyllu o honynt o flaen * [o] Pihahiroth, rhwng Migdol a'r môr; o flaen Baal-Sephon, ar ei chyfer y gwerssyllwch wrth y môr.

3 Canys dywed Pharao am feibion Israel, [p] Rhwystrwyd hwynt yn y tir; [a] chaeodd yr anialwch arnynt.

4 A mi a [q] galedaf galon Pharao fel yr ymlidio ar eu hol hwynt, felly i'm [r] gogoneddir i o herwydd Pharao, ai holl fyddin, a'r Aiphtiaid a gânt wybod mai myfi [ydwyf] Arglwydd; ac felly y gwnaethant.

5 Pan fynegwyd i frenin yr Aipht [s] ffoi o'r bobl; yna y trôdd calon Pharao ai weision yn erbyn y bobl, a dywedasant, [t] Beth yw hyn a wnaethom, pan ollyngasom Israel o'n gwasanaethu?

6 Ac efe a daclodd ei gerbyd ac a gymmerodd ei bobl gyd ag ef.

7 A chymmerodd chwechant [u] o ddewis gerbydau, a holl gerbydau yr Aipht a chaptenniaid ar bob un o honynt.

8 Canys yr Arglwydd a galedase galon Pharao brenin yr Aipht, ac efe a ymlidiodd ar ol meibion Israel; ond yr oedd meibion Israel yn myned allan a [v] llaw uchel.

9 A'r * Aiphtiaid a [w] ymlidiasant ar eu hol hwynt [sef] holl feirch, [a] cherbydau Pharao, ai wŷr meirch, ai fyddin, ac ai goddiweddasant yn gwersyllu wrth y môr; gerllaw Pihahiroth o flaen Baal-sephon.

10 Pan nessaodd Pharao; yna meibion Israel a godasant eu golwg, ac wele yr Aiphtiaid yn dyfod ar eu hol; a meibion Israel a [x] ofnasant yn ddirfawr, ac a waeddasant hefyd ar yr Arglwydd.

11 A dywedasant wrth Moses, Ai am nad oedd [y] beddau yn yr Aipht y dygaist ni i farw yn yr anialwch? Pa ham y gwnaethost fel hyn a ni, gan ein dwyn allan o'r Aipht?

12 Ond dymma y peth yr hwn a lefarasom wrthit yn yr Aipht, gan ddywedyd, [z] Paid a ni fel y gwasanaethom yr Aiphtiaid; canys gwell fuase i ni wasanaethu'r Aiphtiaid na marw yn yr anialwch.

13 Yna y dywedodd Moses wrth y bobl, [a] Nac ofnwch, [b] sefwch ac edrychwch ar [c] iechydwriaeth yr Arglwydd, yr hwn a wnaiff efe i chwi heddyw; o blegit yr Aiphtiaid y rhai a welsoch chwi heddyw [d] ni chewch eu gweled byth ond hynny.

14 Yr Arglwydd a [e] ymladd trosoch; am hynny tewch [f] a sôn.

15 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses, Pa [g] ham y gwaeddi arnaf? dywed wrth feibion Israel am gerdded o honynt rhacddynt.

16 A chyfot tithe dy wialen, ac estyn dy law ar y môr, a hollt ef; ac aed meibion Israel trwy ganol y môr ar dir sych.

17 Wele fi, ie myfi a galedaf galon yr Aiphtiaid fel y deuant ar eu hol hwynt; a mi a ogoneddir o herwydd Pharao, ac o herwydd ei holl fyddin ef, o herwydd ei gerbydau ef, ac o herwydd ei farchogion.

18 Yna'r Aiphtiaid a gânt [h] wybod mai myfi yw'r Arglwydd; pan i'm gogoneddir o herwydd Pharao, o herwydd ei gerbydau, ac o herwydd ei farchogion.

19 Ac [i] angel Duw yr hwn oedd yn myned o flaen byddin Israel a symmudodd, ac a aeth oi hol hwynt: a'r golofn niwl aeth ymmaith oi tu blaen hwynt, ac a safodd oi hol hwynt.

*Num. 33, 8. o Sal. 106, 6. o Num. 25, 3. p Sal. 57, 32. a 71, 11. q Pen. 4, 21. r Adn. 17. 18. Rhuf. 9, 22, 23. s Pen. 3, 18. t Pen. 12, 33. u Pen. 9, 19, 25. Sal. 36, 16. v Pen. 12, 16. *Ios. 24, 16. 1 Mac 4, 9. w Pen. 15, 19. x Mat. 8, 26. 1 Ioan 4, 18. y Sal. 106, 7, 8. z Pen. 6, 9. a Sal. 41, 14. b 2 Cron. 20, 17. c Gen. 49, 18. Salm 3, 8. d Neh. 9, 9. Esay 43, 11. Hos. 13, 14. e Adn. 30. Salm 104, 35. f Sal. 83, 1. a 50, 3. Esa 30, 15. g Pen. 17, 4. Rhuf. 8, 26. Neh. 9, 9. Esa. 64, 24. h Sal. 9, 16. i Pen. 13, 21.

20 Ac efe a ddaeth rhwng byddin yr Aiphtiaid
j Sal. 18, a byddin Israel, ac yr ydoedd yn [j] niwl, ac yn
11 dywyllwch [i'r Aiphtiaid,] ac yn goleuo y nos [i
Israel:] ac ni nessaodd y naill at y llall ar hyd y
nos.
21 A Moses a estynnodd ei law ar y môr, a'r
k Sal. 114. Arglwydd a yrrodd y [k] môr [yn ei ol] trwy [l] ddwy-
5. a 77, 17 a 66, 12 rein-wynt crŷf ar hyd y nos, ac a osododd y môr [m]
l Sal. 48, 8. Hab. yn sychdir; a [n] holltwyd y dyfroedd.
3, 8. Sal. 106, 9 22 Yna * meibion Israel a aethant trwy ganol y
Ier. 18, 17 môr a'r dir sych: a'r dyfroedd [oeddynt] yn [o] fûr
m Sal. 66, 5, 6 iddynt o'r tu dehau ac o'r tu asswy.
a 78, 13 23 A'r Aiphtiaid a erlidiasant, ac a ddaethant
n Sal. 136, 13. Esay a'r eu hol hwynt, [sef] holl feirch Pharao ai ger-
63, 12 * Ios. 4, 13 bydau, ai farchogion i ganol y môr.
Salm 14, 3 24 Ac ar y [p] wiliadwriaeth foreuol, yr Arglwydd
1 Cor. 10, 1 Heb. 11, a [q] edrychodd ar fyddin yr Aiphtiaid o'r [r] golofn
29 o Esa. 63, dân a niwl; ac a [s] derfyscodd fyddin yr Aipht-
13. Hab. iaid
3, 8, 9 p Matth. 25 Canys efe a dynnodd ymmaith olwynion ei
14, 25 q Sal. 77, gerbydau ef, ac ai dûg ef yn drwm: fel y dywed-
18, 19. r Hab. 3, odd yr Aiphtiaid, Ni a ffoiwn oddiwrth Israel, o
8, 9 s Salm 18. blegit yr Arglwydd sydd yn ymladd trostynt hwy
14 yn erbin yr Aiphtiaid.
26 Yna'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses
t Pen. 7, 9 [t] Estyn dy law ar y môr, fel y dychwelo y [u] dyfr-
u Pen. 15, 10 oedd ar yr Aiphtiaid, ar eu cerbydau, ac ar eu
marchogion.
27 A Moses a estynnodd ei law ar y môr, a dych-
v Sal 46, 5 welodd y môr cynn y [v] borau iw nerth, a'r Aipht-
Mat. 7, 2 iaid a ffoasant yn ei erbyn ef: a'r Arglwydd a ym-
chwelodd yr Aiphtiaid yng-hanol y môr.
28 Felly y dyfroedd a ddychwelasant, ac a orch-
guddiasant gerbydau, a marchogion, a holl fydd-
in Pharao, y rhai a ddaethent ar eu hol hwynt i'r
w Salm môr: [w] ni adawyd o honynt gymmeint ag un.
106, 11 x Salm 29 Ond meibion Israel a gerddasant [x] ar dir sych
77, 20 trwy ganol y môr; a'r dyfroedd [oeddynt] yn fûr
iddynt, ar y llaw ddehau, ac ar y llaw asswy.
30 Felly 'r Arglwydd a achubodd Israel y dydd
hwnnw o law'r Aiphtiaid: [y] a gwelodd Israel yr
Aiphtiaid yn feirw ar fin y môr.
31 A gwelodd Israel y grymmyster mawr yr hwn
a wnaeth yr Arglwydd yn erbyn yr Aiphtiaid, a'r
y Salm 58, 10 bobl a ofnasant yr Arglwydd, ac a [z] gredasant i'r
z 2 Cron. 20, 20 Arglwydd ac iw wâs ef Moses.

## PEN. XV.

*Israel yn moliannu Duw am y fuddugoliaeth. 23 Chwerw ddyfroedd Marah. 27 Ffynhonnau Elim.*

* Deut. 10, 20 YNA y * cânodd Moses a meibion Israel y [a]
a Sal. 106, 12 gân hon i'r Arglwydd, ac a lefarasant gan
b Salm ddywedyd, Canaf i'r Arglwydd, canys gwnaeth yn
68, 36 rhagorol iawn, taflodd y march, ai farchog i'r môr.
c Luc 1, 71, 74 2 Fy [b] nerth a'm cân [yw]'r Arglwydd, ac y mae
d Ezra 7, 15 efe yn [c] iechydwriaeth i mi: dymma fy Nuw, efe
e Gen 17, 5 a [d] ogoneddafi, [dymma] [e] Dduw fy nhad, a mi ai
f Sal. 3, 10 [f] derchafaf ef.

3 Yr Arglwydd [sydd] [g] ryfel-wr; [h] yr Arg- g Hab. 3, 8. 9. Dat. 19, 11
lwydd [yw] ei enw.
4 Efe a daflodd [i] gerbydau Pharao ai fyddin yn h Sal. 83, 16, 18
y môr; ai [j] gaptenniaid dewisol a foddwyd yn y i Pen. 14, 27
môr coch. j Pen 14, 7
5 Y dyfnderau ai toasant hwynt; descynnasant
i'r [k] gwaelod fel carrec. k Ier. 51, 63
6 Dy ddeheu-law Arglwydd sydd [l] ardderchoc o l Sal. 118,
nerth; â'th ddeheu-law Arglwydd y drylli y gelyn. 15, 16
7 Yn amldra dy ardderchawgrwydd y tynnaist i
lawr y rhai a [m] gyfodasant i'th erbyn: dy ddigo- m Zec. 2, 8
faint a anfonaist [allan], ac efe ai hyssodd hwynt
fel sofl.
8 [n] Drwy chwythad dy ffroenau y casglwyd y n Iob 4, 9
dyfroedd, y ffrydau a safasant fel pen-twrr: y o Esa. 63,
dyfnderau a [o] geulasant yng-hanol y môr. 13
9 Y gelyn a [p] ddywedodd, Mi a erlidiaf, mi a p 1 Bren.
ddaliaf, mi a rannaf yr yspail: caf fyng-wynfyd 20, 10 Luc 11, 21
arnynt, tynnaf fyng-hleddyf, fy llaw ai goresoyn
hwynt.
10 Ti a [q] chwythaist a'th wynt, y môr ai töawdd q Pen. 14,
hwynt: soddasant fel plwm yn y dyfroedd cryfion. 21. Salm 106, 11
11 Pwy [sydd] debyg i ti O Arglwydd ymmhlith || cedyrn
y || duwiau? pwy fel tydi yn [r] rhagorawl mewn r Esa. 6,
sancteiddrwydd? yn ofnadwy o foliant, yn gwn- Esa. 6, 3
euthur rhyfeddodau?
12 Estynnaist dy ddeheulaw, [s] llyngcodd y s Pen. 14,
ddaiar hwynt. 30
13 [t] Arweiniaist yn dy drugaredd y bobl y rhai t Salm
a waredaist: yn dy nerth y tywysaist [hwynt] i 77, 20
anneddle dy sancteiddrwydd.
14 Y bobloedd a glywant [ac] a [u] ofnant; dolur u Deut.
a ddeil presswyl-wyr Palestina. 2, 25
15 Yna y synna ar ddugiaid Edom [a] hyrddod
Moab, ofn ai deil hwynt: holl bresswyl-wyr Ca-
naan a [v] lesmeiriant. v Sal 68, 2
16 Ofn * ac arswyd a syrth arnynt, gan fawredd * Deut. 2, 25
dy fraich y tawant fel carrec; nes myned trwodd Ios. 2, 9
o'th bobl di Arglwydd, nes myned o'r bobl y rhai
a [w] ennillaist di trwodd. w 2 Ped. 2, 1
17 Ti ai dygi hwynt i mewn, ac ai [x] planni hwynt x Sal 80,
ym mynydd dy etifeddiaeth, y lle a wnaethost O
Arglwydd yn anneddle it; y cyssegr Arglwydd a
ddarparodd dy ddwylaw.
18 Yr Arglwydd a [y] deyrnasa byth, ac yn dra- y Dat. 11, 15
gywydd.
19 O herwydd meirch Pharao ai gerbydau, ai
farchogion a ddaethant i'r môr, [z] a'r Arglwydd a z Dian.
ddychwelodd ddyfroedd y môr arnynt; ond meib- 21, 31
ion Israel aethant a'r dîr sych drwy ganol y môr.
20 A Miriam y [a] brophwydes chwaer Aaron a a Gal.
gymmerodd dympan [b] yn ei llaw: a'r holl fenwyaid 23. A. 21, 9
a aethant allan ar ei hol a thympanau, ac a phib- b Sal.
ellau. 25
21 A dywedodd Miriam wrthynt, [c] Cenwch i'r c 2 Cron.
Arglwydd, canys gwnaeth yn ardderchog, bwrr- 5, 13
iodd y march a'r marchog i'r môr.

22 Yna Moses a ddug Israel oddi wrth y môr
d Num. coch, ac aethant allan i [d] anialwch Sur: a hwynt a
33, 8 Pen.3, 8. gerddasant dri diwrnod yn yr anialwch, ac ni
Num. 10, 33 chawsant ddwfr.
e Ruth 1, 20 23 Pan ddaethant i [e] Marah ni allent yfed dyfr-
‡ Chwerwder. oedd Marah, am eu bod yn chwerwon: o herwydd
hynny y gelwir ei henw hi Marah.‡
f Pen.16, 2, a 17, 3 24 Yna 'r bobl a [f] duchanasant yn erbyn Moses,
Mat.6,25 gan ddywedyd, Beth a yfwn?
g Sal. 50, 15. Pen. 17, 4 25 Ac efe a [g] waeddodd ar yr Arglwydd, a'r Ar-
glwydd a ddangosodd iddo ef [h] brenn, ac efe a
h 2 Bren. 2, 21 fwriodd [hwnnw] i'r dyfroedd, a'r dyfroedd a
Gal. 3,17 bereiddiasant: yno efe a osododd iddo ddeddf, a
i Pedr. 2, 21, 24 chyfraith, ac efe ai [i] profodd ef yno.
2 Cor. 1, 5. 7 26 Ac a ddywedodd, Os gan wrando y gwran-
Rhuf.5,3 a 6, 3, 4 dewi di ar lais yr Arglwydd dy Dduw, ac os gwnei
j Deut 8, 2, 15 di yr hyn a fyddo [j] inion yn ei olwg ef, a rhoddi
j Col. 1, 10 clust iw orchymmynion ef, a chadw ei holl ddeddf-
k Deut. 28, 27 au ef; ni roddaf arnat un o'r [k] clefydau y rhai a
Salm 41,4 roddais ar yr Aiphtiaid, o herwydd myfi [ydwyf]
yr Arglwydd dy iachawdur.
* Num. 33, 6 27 A daethant * i Elim, ac yno'r oedd deuddec
l Dat. 7,9 ffynnon o ddwfr, a dec [l] palm-wydden, a thri ugain:
a hwynt a werssyllasant yno wrth y dyfroedd.

## PEN. XVI.

*Israel yn dyfod i anialwch Sin. 3 Ac yn tuchan am fwyd. 13 Ac yn cael sofl ieir a manna. 16 Y modd a'r mesur i gael y manna. 32 Cadw peth o'r manna er coffadwriaeth.*

m Num. 33, 10 YNA y [m] symmudasant o Elim, a holl gynnull-
Ezec. 30, 15. Mat. 15, 33 eidfa meibion Israel a ddaethant i anialwch
Sin, yr hwn [sydd] rhwng Elim a Sinai, ar y pym-
thecfed dydd o'r ail mis wedi iddynt fyned allan o
wlad yr Aipht.
n Gen.19, 4. Pen. 15, 25 2 A holl [n] gynnulleidfa meibion Israel a duch-
anasant yn erbyn Moses, ac yn erbyn Aaron yn
yr anialwch.
3 Canys meibion Israel a ddywedasant wrthynt,
o 1 Cor. 10, 11 [o] O na buasem feirw tan law'r Arglwydd yng-wlad
Galar 4,9 yr Aipht: pan oeddem yn eistedd wrth y crochanau
Pen. 2, 23 Iu r. 2, 6 cig, ac yn bwytta bara ddigon; ond chwi a'n dyg-
asoch ni allan i'r anialwch hwn, i ladd yr holl dyrfa
hon a newyn.
4 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
p Sal. 78, 24, 25 Wele mi a [p] lawiaf arnoch fara o'r nefoedd; a'r
Rhuf. 12, 20, 21. bobl a ânt allan, ac a gasclant ddogn dydd yn ei
Mat.6,11 ddydd, fel y gallwyf eu profi, a rodiant yn fyng-
Deut.8,2 hyfraith ai nas [gwnant].
Pen. 15 25 5 Ond ar y chweched dydd y darparant yr hyn
a ddygant i mewn: a [hynny] fydd dau cymmeint
i'r hyn a gasclant beunydd.
6 Yna y dywedodd Moses ac Aaron wrth holl
feibion Israel, Yn yr hwyr y cewch wybod mai 'r
Arglwydd a'ch dug chwi allan o wlad yr Aipht.
q Adn.10, Pen.17, 10 7 Y borau hefyd y cewch weled [q] gogoniant yr
Num. 16, Arglwydd, am iddo glywed eich tuchan chwi yn
1. Luc 10, 16 erbyn yr Arglwydd; o herwydd beth [a allem] ni
pan duchanasoch i'n herbyn?

8 Moses hefyd a ddywedodd, Yn yr hwyr y
rhydd yr Arglwydd i chwi gîg iw fwyta, a'r borau
fara ddigon; am glywed o'r Arglwydd eich tuchan
chwi'r hwn a wnaethoch yn ei erbyn ef: o her- r Adn. 9,
wydd beth [allem] ni? [r] nid yn ein herbyn ni [yr 12. 1 Sam. 8, 7
oedd] eich tuchan, onid yn erbyn yr Arglwydd.
9 A Moses a ddywedodd wrth Aaron, Dywet
wrth holl gynnulleidfa meibion Israel, Deuwch yn-
nes [s] ger bron yr Arglwydd; o herwydd efe a s Deut.
glywodd eich [t] tuchan chwi. 12, 5, 6 t Pen. 13, 21
10 Ac fel yr oedd Aaron yn llefaru wrth holl Ezec. 20,
gynnulleidfa meibion Israel, yna'r edrychasant tua 8. Mat.
'r anialwch; ac wele gogoniant yr Arglwydd a ym- 17, 6
ddangosodd mewn niwl.
11 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan
ddywedyd,
12 *Clywais duchan meibion Israel, llefara wrth- * Pen. 12,
ynt gan ddywedyd, Yn y cyfnos y cewch [u] fwyta 21. Preg. 45, 4
cig, a'r borau i'ch diwellir o fara: cewch hefyd u Num.
wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich Duw 11, 31 1 Cor. 10,
chwi. 3. Salm 90, 14
13 Felly yn yr hwyr y * sofl-ieir a ddaethant ac * Num
a orchguddiasant y wersyllfa: a'r boreu yr oedd 11, 34 Sal,78,24
caenen o wlith o amgylch y gwersyll. Doeth. 16, 22
14 A phan gododd y gaenen wlith; yna wele ar
hyd wyneb yr anialwch [v] dippynnau crynnion cyn v Num.
faned a'r llwyd-rew ar y ddaiar. 11, 9 Dat. 2,17
15 Pan welodd meibion Israel [hynny,] yna y
dywedasant bob un wrth ei gilydd, Manna [yw]
ef, canys ni wyddent beth [ydoedd] efe: a dywed-
odd Moses wrthynt, *Hwn yw y bara'r hwn a * Ioan 6,
roddodd yr Arglwydd i chwi iw fwyta. 31. 1 Cor. 10, 3
16 Hyn yw'r peth a orchymynnodd yr Arglwydd,
Cesclwch o honaw bob un yn ol ei fwyta: [w] omer i w Adn 36.
bob un yn ol rhifedi eich eneidiau, cymmerwch
bob un i'r rhai fyddant yn y gwersyll.
17 A meibion Israel a wnaethant felly; ac a gas-
clasant, [x] rhai lawer a rhai ychydig. x 2 Cor. 8, 15
18 Pan fesurasant yr omer, yna [y] nid oedd gwe Adn. 18
ddill i'r hwn a gasclase lawer, ac nid oedd eisieu y 2 Cor. 8, 14
ar yr hwn a gasclase ychydig; casclasant bob un yn Gal. 3,28
ol ei fwyta.
19 Yna y dywedodd Moses wrthynt; na weddill-
ed neb ddim o honaw hyd y borau.
20 Er hynny ni wrandawsant ar Moses onid gado
a wnaeth rhai o honaw hyd y borau, ac efe a
[z] fagodd bryfed ac a ddrewodd: am hynny Moses z Heb 13,
a ddigiodd wrthynt. 5. Mat. 6, 31
21 A hwynt ai casclasant ef bob borau, pob un
yn ol ei fwyta: pan wresoge yr haul efe a [a] dodde. a Diar.
22 Ac ar y chweched dydd y casclent ddau cym- 10, 4. a 6, 6,7. Ioan
meint o'r bara, dau omer i un: a holl bennaethiaid 12, 35.
y gynnulleidfa a ddaethant, ac a [b] fynegasant wrth b Mat 2,7.
Moses.
23 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hyn yw'r peth
a lefarodd yr Arglwydd, y foru [c] [y mae] gorphy- c Gen. 2, 2
wysfa Sabboth sanctaidd i'r Arglwydd: pobwch Pen. 35, 2 Lef. 23, 3

[heddyw] yr hyn a bobech, a berwch yr hyn a
ferwch, a gosodwch mewn cadwraeth hyd y
borau yr holl weddill.
24 A hwynt ai cadwasant hyd y borau fel y
d Gen. 8, 21. 2 Cor. 2, 15 gorchymynnase Moses: er hynny ni [d] ddrewodd,
ac nid oedd pryf ynddo.
Diar. 15, 16. Pen. 29, 18 25 Yna y dywedodd Moses, * Bwytewch hwn
heddyw, o blegit Sabboth [yw] heddyw i'r Ar-
e Ioan 6, 27 glwydd: ni chewch hwn yn y maes heddyw.
26 Chwe diwrnod y cesglwch chwi ef; a'r seithfed
f Matth. 25, 8 dydd [fydd] Sabboth, [f] ni bydd efe ar hwnnw.
g Num. 20, 12 Deut. 1, 32 27 Etto [rhai] o'r bobl aethant [g] allan ar y seith-
fed dydd i gasglu, ond ni chawsant ddim.
2 Bren. 17, 4 28 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses,
Pa hyd y gwrthodwch gadw fyng orchymynnion
a'm cyfreithiau?
29 Gwelwch mai'r Arglwydd a roddodd i chwi
Sabboth, am hynny efe a roddodd i chwi y chwech-
ed dydd fara dros ddau ddydd: arhowch bawb
h Lef. 23, 3. Act. 15, 21 gartref, nac aed un [h] oi le y seithfed dydd.
30 Felly y bobl a [i] orphwysasant y seithfed dydd.
Num. 35, 5 31 A thŷ Israel a alwasant ei henw ef Manna: ac
Ios. 3, 4 efe oedd [j] fel hâd Coriander, yn wynn, ai flâs fel
i Pen. 33, 7, a 20, 8 afrllad o fêl.
Num. 1, 8 32 A Moses a ddywedodd, Dymma y peth
a orchymynnodd yr Arglwydd, Llanw omer o
k Rhuf. 15, 4 honaw iw gadw drwy [k] eich oesoedd: fel y gwelant
y bara a'r hwn y porthais chwi yn yr anialwch,
pan i'ch dygais chwi allan o wlad yr Aipht.
33 A Moses a ddywedodd wrth Aaron, Cym-
*Heb 9, 4 mer * un crochan a dod ynddo loned omer [o'r]
l 2 Cron. 20, 13 Manna: [l] a gosot ef ger bron yr Arglwydd yng-
hadw drwy eich oesoedd.
34 Megis y gorchymynnodd yr Arglwydd i Mo-
m Pen. 25, 16, 21 ses, felly y gosododd Aaron ef i [m] gadw ger bron
Deut. 10, 5 y destiolaeth.
35 A meibion Israel a [n] fwytawsant y Manna
n 1 Cor. 10, 5 *ddeugain mhlynedd, nes eu dyfod i dir cyfanned-
Ioan 6, 49. 1 Cor. 11, 27, 28 ol: y Manna a fwyttawsant nes eu dyfod i gwrr
*Ios. 5, 12 gwlad Canaan.
Neh. 9, 15 36 A'r omer ydoedd ddecfed rann epha.

## PEN. XVII.

1 *Dyfodiad Israel i Raphidim.* 2 *Ai tuchan am ddwfr.* 4 *Moses yngweddio.* 6 *Acyn cael dwfr.* 8 *Amalec yn ymladd ag Israel.* 10 *Iosua yn myned yn ei erbyn ac yn cael y maes trwy weddi Moses.* 14 *Duw yn addo difetha Amalec.*

A HOLL gynnulleidfa meibion Israel a aethant
o Num. 33, 12, 14 ar eu taith o anialwch Sin [o] wrth orchymyn
Sal. 37, 23 yr Arglwydd: ac a wersyllasant yn Raphidim, lle
nid oedd dwfr i'r bobl i yfed.
2 Am hynny y bobl a yngynhennasant a Moses,
p Num. 20, 3 ac a ddywedasant, [p] Rhoddwch i ni ddwfr i yfed:
Pen. 16, 2 a dywedodd Moses wrthynt, Pa ham yr ymgyn-
q Mat 15, 1 hennwch a mi? pa ham y [q] temptiwch yr Arglwydd?
3 A'r bobl a sychedodd yno am ddwfr, a thuch-
anodd y bobl yn erbyn Moses: ac a ddywedasant,
Pa ham y peraist i ni ddyfod i fynu o'r Aipht fel
hyn i'n lladd ni, a'n plant, a'n hanifeiliaid a syched?
4 A Moses a [r] lefodd ar yr Arglwydd, gan ddy- r Pen. 14, 15
wedyd, Beth a wnaf i'r bobl hyn? [aros] etto Num. 14, 10, 11
ychydic a hwynt a'm llabyddiant. Sal. 65, 7
5 [s] A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Dos 1. Sam. 30, 6
o flaen y bobl, a chymmer gyd a thi o henuriaid s Act. 12,
Israel: cymmer hefyd dy wialen yn dy law yr hon 23, 24 Esec. 2, 6
y * tarewaist yr afon a hi, a cherdda. *Pen. 7, 20.
6 Wele * mi a safaf o'th flaen ar y graig yn Hor- *Doeth.
eb, taro dithe y graig a [t] daw dwfr allan o honi, 11, 4 Num. 20,
fel y gallo y bobl yfed: A Moses a wnaeth felly 9. Salm
yng-olwg henuriaid Israel. 105, 41 t 1 Cor. 10, 4
7 Ac efe a alwodd henw y lle ‡ Massah a § Meribah: ‡ Sal 78, 15 Neh. 9, 15
o achos cynnen meibion Israel, ac am iddynt ‡ Profed-igaeth.
demtio yr Arglwydd gan ddywedyd, A ydyw yr § Cynnen
Arglwydd yn ein plith, ai nid [yw?] Nu. 20, 13
8 * Yna y daeth [u] Amalec, ac a ymladdodd ag * Deut. 25, 17
Israel yn Raphidim. Doeth. 11, 3
9 A dywedodd Moses wrth ‖ Iosua, Dewis i ni u Gen 36, 15
wŷr, a dos allan a rhyfela yn erbyn Amalec: y foru ‖ Iesu.
mi a safaf ar benn y brynn a [v] gwialen Duw yn v Pen. 4,
fy llaw. 20. a 7, 9
10 Felly Iosua a wnaeth fel y dywedodd Moses
wrtho am ryfela yn erbyn Amalec: a Moses, Aaron,
a Hur a aethant i fynu i benn y brynn.
11 A phan [w] gode Moses ei law y bydde Israel w Sal 28, 1
yn drechaf; a phan adawe ef ei law yn llonydd, Iago 5, 16 Sal. 56, 9
Amalec a fydde drechaf. Luc 18, 1
12 A dwylaw Moses oeddynt [x] drymion, am hyn- x Mat 26,
ny y cymmerasant [y] faen, ac ai gosodasant tano ef 41, 43 Rhuf. 12,
ac efe a eisteddodd arnaw: ac Aaron a Hur a atteg- 12 y Sal. 118,
asant tann ei ddwylaw ef, un ar y naill tu, a'r llall 22 Rhuf. 8
ar y tu arall, felly y bu ei ddwylaw ef [z] sythion nes z Iago 1,
machludo haul. 6, 7. a 5, 15, 17
13 Ac Iosua a wanhâodd Amalec ai bobl a mîn
y cleddyf.
14 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses, [a] a Pen. 34,
Scrifenna hynn mewn llyfr yn goffadwriaeth, a my- 27. Deut
nega i Iosua: * canys gan ddeleu y deleaf goffad- 25, 19 * Num.
wriaeth Amalec oddi tann y nefoedd. 24, 20 1 Sam. 15, 3
15 A Moses a adailadodd allor; ac a alwodd ei
henw hi, Yr Arglwydd [yw] fy maner.
16 Canys efe a ddywedodd fod llaw ar orsedd-
faingc yr Arglwydd, [ac y bydd] i'r Arglwydd
ryfel yn erbyn Amalec o genhedlaeth i genhedlaeth.

## PEN. XVIII.

*Iethro yn dwyn gwraig a phlant Moses atto.* 8 *Moses yn dangos i Iethro ei chwegrwn ymwared Israel.* 10 *Iethro yn moliannu ac yn aberthu i Dduw Israel.* 19 *Moses yn ol cyngor Iethro yn gosod swyddogion tanaw.*

PAN glywodd * Iethro offeiriad Midian, chweg- * Pen. 16. a 3, 5
rwn Moses, yr hyn oll a [b] wnaethe Duw i b Sal. 2, 3
Moses, ac i Israel ei bobl; a dwyn o'r Arglwydd
Israel allan o'r Aipht,
2 Yna y cymmerodd Iethro, chwegrwn Moses, Se- c Pen. 26
phora gwraig Moses: [c] (wedi ei hebrwng hi [atto]). d Pen 22
3 Ai dau fab hi; o ba rai henw un [oedd] [d] ‡ Ger- ‡ Dieithr yno.

shom, o blegit efe a ddywedase, Dieithr ydwyf
mewn gwlad estronol.
‖ Fy Nawdd gymmorth. Gen. 15,2 4 Ac enw y llall [oedd] ‖ Eliezer; o herwydd
Duw fy nhad [oedd] yn gynnorthwy i mi [ebr efe]
ac am hachubodd rhac cleddyf Pharao.
5 A daeth Iethro chwegrwn Moses, at Moses,
ai feibion, ai wraig i'r anialwch, lle 'r ydoedd efe
e Pen. 3,1 yn gwerssyllu [ger llaw] [e] mynydd Duw.
6 Ac efe a ddywedodd wrth Moses, Myfi Iethro
dy chwegrwn sydd yn dyfod attat, a'th wraig, ac ai
dau fab gyd a hi.
f Act. 23, 15 7 Yna 'r aeth Moses allan i [f] gyfarfod ai chweg-
1 Bren. 2, 19 rwn, ac a ymgrymmodd, ac ai cussanodd, a chy-
Gen. 29, 11 farchasant bob un iw gilydd; a daethant i'r babell.
2 Sam. 11, 7 8 Yna Moses a fynegodd iw chwegrwn yr hyn
Sal. 122, 6 oll a wnaethe 'r Arglwydd i Pharao, ac i'r Aipht-
g Neh. 9, 32 iaid er mwyn Israel; a'r holl flinder [g] yr hyn a gaw-
sent ar y ffordd, ac achub o'r Arglwydd hwynt.
h Esa. 60, 6, 10 9 A [h] llawenychodd Iethro o herwydd yr holl
Rhuf. 12, 15 ddaioni a'r a wnaethe 'r Arglwydd i Israel, [ac]
am ei waredu ef o law'r Aiphtiaid.
10 A dywedodd Iethro, Bendigedic [fyddo] yr
Arglwydd yr hwn a'ch gwaredodd o law'r Aipht-
iaid, ac o law Pharao, yr hwn [hefyd] a waredodd
y bobl oddi tann law 'r Aiphtiaid.
i Gen. 22, 12 11 [i] Yn awr y gwn mai mwy ydyw 'r Arglwydd
Pen. 10, 16 na'r holl dduwiau: * o blegit yn y peth yr oedd-
* Pen. 1, 10 ynt falch o honaw [yr aeth efe] arnynt.
a 16, 22. a 5, 7. a 14, 18 12 Yna Iethro chwegrwn Moses a [j] gymmerodd
j Gen. 8, 20. Eph. 4, 8 boeth-offrwm, ac [k] ebyrth i Dduw: a daeth Aaron
a holl henuriaid Israel i fwyta bara gyd a chweg-
k Pen. 24, 5. Lef. 7, 15 rwn Moses ger bron Duw.
Preg. 10, 19. 1 Cor. 10, 31 13 A Moses a [l] eisteddodd drannoeth i farnu y
Deut. 12, 5, 7 bobl: a safodd y bobl gyd a Moses o'r borau hyd
yr hwyr.
l Barn. 5, 10 14 A phan welodd chwegrwn Moses yr hyn oll
1 Bren. 1, 13 a'r a ydoedd efe yn ei wneuthur i'r bobl, yna efe a
ddywedodd, Pa beth [yw] hyn yr ydwyt ti yn ei
wneuthur i'r bobl? Pa ham yr eisteddi dy hun, ac
y saif yr holl bobl gyd a thi o'r borau hyd yr hwyr?
m Adn. 19 Iob 29, 16 15 A dywedodd Moses wrth ei chwegrwn, Am
n Iob 31, 13 i'r bobl ddyfod attaf i [m] ymgynghori a Duw.
† Heb. Gwr. 16 Pan fyddo iddynt achos, attaf i y deuant, a
o Deut. 1, 9, 12 myfi ydwyf yn barnu rhwng † pawb ai gilydd: ac
yn ysbyssu deddfau Duw ai gyfreithiau.
p Gen. 31, 3. a 32, 9 17 A dywedodd chwegrwn Moses wrtho, [n] Nit
a 39, 2 Num. 5, 23, 34, 55 da y peth yr hwn yr ydwyt ti yn ei wneuthur.
18 Llwyr ddeffygi di, a'r bobl ymma hefyd y
q Deut. 1, 18 rhai ydynt gyd a thi, canys rhy-drwm yw y peth
r Gen. 47, 6. Deut. 1, 13 i ti, [o] ni elli di ei wneuthur ef dy hun.
19 Gwrando ar fy llais yn awr, mi a'th gynghor-
1 Cron. 26, 6 af [p] a bydd Duw gyd a thi: bydd di dros y bobl
2 Sam. 23, 3 ger bron Duw, a dwg di eu hachosion at Dduw.
2 Cron. 19, 9 20 Dysc hefyd iddynt y deddfau a'r cyfreithiau,
Neh. 2, 7 Act. 6, 3, 5 ac hysbysa iddynt y ffordd a rodiant ynddi, a'r [q]
Zec. 7, 9 gweithredoedd y rhai a wnant.
Deut. 16, 19 21 Ac edrych dithe allan o'r holl bobl am [r] wŷr

nerthol yn ofni Duw, gwŷr geirwir yn cassau cy-
bydd-dod; a gosot [y rhai hyn] arnynt hwy, yn
bennaethiaid ar filoedd, yn bennaethiaid ar gant-
oedd, ac yn bennaethiaid ar ddegau a deugain, ac
yn bennaethiaid ar ddegau.
22 A barnant hwy y bobl bob amser, ond dy-
gant bob peth mawr attat ti, a barnant eu hun bob
peth bychan: felly yscafnhâ di [y baich] oddi ar-
nat dy hun, a chyd [s] ddygant hwythau a thi. s Deut. 1, 13
23 Os y peth hynn a wnei ai [t] orchymyn o Dduw t Num. 11, 16
i ti, yna ti a elli barhau: a'r holl bobl hyn a ddeu-
ant iw lle yn llwyddiannus.
24 A Moses [u] a wrandawodd ar lais ei chwegrwn, u 1 Cor. 12, 21
ac a wnaeth yr hyn oll a ddywedodd efe.
25 Canys Moses a [v] ddewisodd wŷr grymmus v Act. 14, 23. Deut.
allan o holl Israel, ac ai rhoddodd hwynt yn ben- 1, 13, 14
naethiaid ar y bobl: yn bennaethiaid ar filoedd, yn
bennaethiaid ar gantoedd, yn bennaethiaid ar ddeg-
au a deugain, ac yn bennaethiaid ar ddegau.
26 A hwynt a farnasant y bobl bob amser: y
peth caled a ddygent at Moses, a phob peth bych
an a farnent hwy.
27 Wedi hynny Moses a ollyngodd ymmaith ei
chwegrwn; ac efe [w] aeth adref iw wlad. w Pen 3, 1 Num. 10, 29

## PEN. XIX.

*Dyfodiad Israel i fynydd Sinai. 5 Rhagoriaeth Israel. 8 Y bobl yn addo ufudd-dod i Dduw. 10 Duw yn erchi sancteiddio y bobl: ac yn gwahardd iddynt gyffwrdd a'r mynydd. 14 Y bobl yn ymsancteiddio. 16 Duw yn ymddangos mewn taranau, a mellt.*

YN y [x] trydydd mis wedi dyfod meibion Israel x Gen. 15, 17. Gal.
allan o wlâd yr Aipht; y dydd hwnnw y 3, 17
daethant i anialwch Sinai. Gal. 4, 25 Actau 7, 30, 38
2 Canys hwy a aethant o Raphidim, ac a ddaeth-
ant i anialwch Sinai, gwersyllasant hefyd yn yr
anialwch; sef yno y gwersyllodd Israel ar gyfer y
mynydd.
3 A Moses aeth i fynu [y] at Dduw: a'r Arglwydd y Esa. 63, 9. Act.
a alwodd arno ef o'r mynydd, gan ddywedyd, Fel 7, 38
hyn y dywedi wrth dŷ Iacob, ac y mynegi wrth Num 9, 17
feibion Israel.
4 Chwi a [z] welsoch yr hyn a wneuthum i'r Aipht- z Mica 6, 5. Deut.
iaid: modd y codais chwi ar adenydd eryrod, ac 32, 11, 12
i'ch dygais chwi attafi. Dat. 12, 14
5 Yn awr gan hynny os gan wrando y gwran-
dewch ar fy llais, a chadw fyng-hyfammod: bydd- a Sal. 135, 4. Titus
wch yn [a] dlws cuach gennifi na 'r holl bobloedd, 2, 14
canys eiddo fi yr holl fyd. Esa. 41, 8
6 A chwi a fyddwch i mi yn [b] frenhiniaeth o off- b 1 Pedr 2, 9
eiriaid, ac yn genhedlaeth sanctaidd: dymma y Rhuf 12, 1
geiriau y rhai a leferi di wrth feibion Israel. Sal. 93, 5
7 Yna y daeth Moses, ac a alwodd am henuriaid 1 Bren. 8, 53
y bobl: ac a osododd ger eu bronnau hwynt yr holl
eiriau hyn, y rhai a orchymynnasse 'r Arglwydd
iddo.
8 [c] A'r holl bobl a gyd attebasant, ac a ddywed- c Pen. 24, 3, 7
asant, Nyni a wnawn yr hyn oll a lefarodd yr Ar- Ier. 10, 23

glwydd: a Moses a ddug trachefn eiriau'r bobl at
yr Arglwydd.
9 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses,
d Mat. 17, 5. 2 Cor. 3, 7, 8 Ioan 9, 28, 29 Pen 14, 31 Wele mi a ddeuaf attat mewn [d] niwl tew, fel y clywo
y bobl pan ymddiddanwyf a thi, ac fel y credant it
byth: a Moses a fynegase eiriau'r bobl i'r Arglwydd.
10 Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrth Mo-
e Heb 10, 22. a 12, 14 Lef 11, 45 ses, dos at y bobl a [e] sancteiddia hwynt heddyw
ac y foru: a golchant eu dillad.
11 Fel y byddant barod erbyn y trydydd dydd:
f Pen 23, 16. Act 20, 16 o herwydd y [f] trydydd dydd y descyn yr Ar-
glwydd yngolwg yr holl bobl, ar fynydd Sinai.
g Ios 3, 4 Adn 21 Heb 12, 18, 20, 22 12 A [g] gosot derfyn i'r bobl o amgylch, gan ddy-
wedyd, Gwiliwch arnoch rhac myned i fynu i'r
mynydd, neu gyffwrdd ai gwr ef: pwy bynnac a
gyffyrddo a'r mynydd a leddir yn farw.
13 Na chyffyrdded llaw ag ef, onid gan labydd-
io llabyddier ef, neu gan saethu saether ef: pa un
bynnac ai dyn ai anifail na chaed fyw; pan gano 'r
h Lef 25, 11 [h] udcorn yn hir-llaes, deuant i'r mynydd.
14 Yna Moses a ddescynnodd o'r mynydd at y
bobl: ac a sancteiddiodd y bobl, a hwynt a olcha-
sant eu dillad.
15 Ac efe a ddywedodd wrth y bobl, Bydd-
wch barod erbyn y trydydd dydd: nac ewch yn
i 1 Cor 7, 5 [i] agos at wraig.
16 A'r trydydd dydd ar y boreuddydd yr oedd
j Gal 3, 19 Esa 58, 1 Rhuf 8, 15 taranau, a mellt, [j] a niwl trwm ar y mynydd, a
llais yr udcorn ydoedd gryf iawn: fel y dychryn-
nodd yr holl bobl y rhai [oeddynt] yn y gwerssyll.
17 A Moses a ddug y bobl allan o'r gwerssyll
k Deut 5, 5 i [k] gyfarfod a Duw: a hwynt a safasant yng-odre y
mynydd.
l Hab 3, 4 Pen 40, 34 2 Cron 5, 14. a 6, 1 a 7, 1, 2 Esa. 6, 4 Dat. 15, 8 Ier. 23, 29 Hab 3, 10 18 A mynydd Sinai a [l] fygodd ei gyd, o herwydd
descyn o'r Arglwydd arno mewn tân: ai fwg a
dderchafodd fel mwg ffwrn, a'r holl fynydd a
grynnodd yn ddirfawr.
19 Pan ydoedd llais yr udcorn yn myned, ac
yn cryfhau yn odieth, Moses a lefarodd, a Duw a
m Heb. 12, 21 Ioan 12, 29 attebodd mewn [m] llais.
20 A'r Arglwydd a ddescynnodd ar fynydd Sinai,
ar benn y mynydd: a galwodd yr Arglwydd ar
Moses i benn y mynydd, ac aeth Moses i fynu.
21 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
n Pen. 3, 5 Dos i wared testiolaetha i'r bobl: rhac iddynt [n]
ruthro at yr Arglwydd i weled, a chwympo llaw-
er o honynt.
o Pen. 24, 5 Lef. 10, 3 22 Ac ymsancteiddied yr [o] offeiriaid hefyd, y
rhai a nessânt at yr Arglwydd: rhac i'r Arglwydd
ruthro arnynt.
p 2 Cor. 3, 7 23 A dywedodd Moses wrth yr Arglwydd, [p] Ni
ddichon y bobl ddyfod i fynu i fynydd Sinai: o
blegit ti a destiolaethaist wrthym, gan ddywedyd,
Terfyna y mynydd, a sancteiddia ef.
24 A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Dos,
cerdda i wared, a thyret ti i fynu ac Aaron gyd a
thi: ond na [q] ruthred yr offeiriaid a'r bobl i ddyfod q Math 11, 12 Luc 16, 16 Heb. 12, 18, 22, 23 Sal. 131, 1
i fynu at yr Arglwydd, rhac iddo yntef ruthro
arnynt hwy.
25 Yna 'r aeth Moses i wared at y bobl, ac a
ddywedodd wrthynt.

## PEN. XX.

*Dec gorchymyn Duw. 18 Duw yn ymddangos mewn mellt i beri ei ofni. 23 Duw yn gwahardd delwau. 24 Portreiad yr allor.*

A DUW a [r] lefarodd yr holl eiriau hyn, gan r Pen. 19, 24. Act. 7, 35 Deut. 5, 22
ddywedyd,
2 Myfi [ydwyf] yr Arglwydd [s] dy Dduw: yr s Sal. 81, 10. Gen. 17, 7 Luc 1, 71
hwn a'th ddygais di allan o wlad yr Aipht, o dŷ y
caethiwed.
3 Na fydded it dduwiau [t] eraill ger fy mron i. t 1 Cor 8, 4, 5
4 [u] Na wna it ddelw gerfiedic, na llun dim a'r u Ioan 4, Math 6, 8, 9
[y sydd] yn y nefoedd oddi uchod, nac a'r [y
sydd] yn y ddaiar oddi isod: nac a'r [y sydd] yn
y dwfr oddi tann y ddaiar.
5 Nac ymgrymma iddynt, ac na wasanaetha
hwynt: o blegit myfi yr Arglwydd dy Dduw [yd-
wyf] Dduw eiddigus, yn ymweled ag anwiredd y
tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd
[genhedlaeth] o'r rhai a'm casânt.
6 Ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai
a'm [v] carant, ac a gadwant fyng-orchymynnion. v Ioan 14, 15
7 Na [w] chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn w Mat. 5, 33
ofer: canys nid dieuog gan yr Arglwydd yr hwn
a gymmero ei enw ef yn ofer.
8 Cofia y dydd Sabboth iw sancteiddio ef.[x] x Ezec. 20, 12
9 [y] Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy holl y Pen. 23, 12
waith.
10 Ond y seithfed dydd [yw] Sabboth yr Ar-
glwydd dy Dduw: na wna [ynddo] [z] ddim gwaith, z Neh. 13, 16. Heb. 6, 6
tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th wasanaethwr,
na'th wasanaeth-ferch, na'th anifail, na'th ddieithr-
ddyn yr hwn a fyddo o fewn dy byrth.
11 O herwydd [mewn] [a] chwe diwrnod y gwnaeth a Gen. 2, 2
yr Arglwydd y nefoedd, a'r ddaiar, y môr, a'r hyn
oll [sydd] ynddynt, ac a orphywysodd y seithfed
dydd: am hynny y bendithiodd yr Arglwydd y
dydd Sabboth, ac ai sancteiddiodd ef.
12 [b] Anrhydedda dy dad a'th fam: fel yr estynno b Ephes. 6, 1, 2.
dy ddyddiau ar y ddaiar, yr hon y mae yr Ar-
glwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti.
13 [c] Na ladd. c Mat. 5, 21
14 [d] Na wna odineb. d Mat. 5, 28
15 [e] Na ledratta. e 1 Thes. 4, 16
16 [f] Na ddwg gamm destiolaeth yn erbyn dy f Lef. 5, 1
gymydog.
17 [g] Na chwennych dŷ dy gymydog: na chwen- g Act. 20, 33
nych wraig dy gymydog, nai wasanaethwr, nai
wasanaeth-ferch, nai ŷch, nai assyn, na dim ar
[sydd] eiddo dy gymydog.

PEN. XX, Adn. 5.]. "Duw eiddigus." Y mae Duw yn arddel ei hun yn Briod i'w bobl, am hynny y gelwir eilun-addoliaeth yn odineb; gochelwn wneuthur eilun o ddim, nac yn ein geiriau na'n calonau, rhag i'w eiddigedd ennyn i'n herbyn yn dân ysol, Heb. xii. 29.

hHeb.12, 18.Rhuf. 18 A'r holl bobl a welsant y [h] taranau, a'r mellt,
8, 15 a sain yr udcorn, a'r mynydd yn mygu: pan wel-
odd y bobl yna ciliasant, a safasant o hir-bell.
i Deut. 19 A dywedasant wrth Moses, [i] Llefara di wrth-
5, 23 j Deut.5, ym ni, ac nyni [j] a wrandawn; ond na lefared Duw
27 k Deut. wrthym, [k] rhac i ni farw.
5, 25 Gal. 3, 20 Yna y dywedodd Moses wrth y bobl, [l] Nac
11, 12 Rhuf. 5, ofnwch, o herwydd [m] ich profi chwi y daeth Duw:
1, 2. a 8, ac i fod ei ofn ger eich bronnau, [n] fel na phechech.
1, 2, 3 l Deut. 21 A safodd y bobl o hir-bell: a nessaodd Moses
4, 10 m Pen 15, i'r [*] cwmmwl lle [yr ydoedd] Duw.
25. Gen. 22 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses, Fel
22, 1 n Gal. 3, hyn y dywedi wrth feibion Israel, Chwi a welsoch
19 o Heb.12, mai o'r [o] nefoedd y lleferais wrthich.
18 23 Na wnewch [Dduw arall] gyd a mi, na wnewch
p Neh. 9, i chwi dduwiau [q] arian, na duwiau aur.
13 q 2 Sam. 24 Gwna di i mi [*] allor bridd, ac abertha arni dy
3, 21 *Pen.27, boeth offrymmau a'th ebyrth hedd, dy ddefaid,
8 r Deut. a'th eidionnau: [r] ym mhob man lle y rhoddwyf
12, 5 s Sam.18, goffadwriaeth o'm henw, y deuaf attat, ac [s] i'th
18 s Sal.147, fendithiaf.
3 t Pen27.1 25 Ond os gwnei i mi allor [t] gerric [*] na nadd y
* Deut. rhai hynny; pan [t] gottech dy forthwyl arni ti a'i
27, 5. Ies. [u] halogaist.
8, 31 u 1 Cor. 26 Ac na ddos i fynu ar hyd grissiau i'm hallor:
1, 17 v Gen. 9, fel nad amlyger dy [v] noethni wrthi hi.
22

## PEN. XXI.

*Cyfreithiau am weision caethion. 12 Am lofryddiaeth. 15 Am daro tad neu fam. 17 Am gablu tad neu fam. 18 Am daro cymydog. 20 Am daro caeth was. 22 Am beri i wraig feichiog niweid. 26 Am anafu caeth-was. 28 Am eidion a ruthro, neu a syrthio mewn pwll.*

DYMMA y barnedigaethau y rhai a osodi
w 1 Cor. [w] ger eu bron hwynt.
6, 1 x Pen. 3, 2 Os prynni [x] wâs o Hebræad, [y] gwasanaethed
18 Deut. chwe blynedd; a'r seithfed y caiff yn [z] rhâd fyned
15, 12 y Lef. 25, ymmaith [a] yn rhydd.
39 z Rhuf.6, 3 Os ar ei benn ei hun y daeth, ar ei benn ei hun
16. Gal. y caiff fyned allan; os perchen gwraig fydd efe,
4, 25 a Adn. 11 aed ei wraig allan gyd ag ef.
Gen20.15 b Lef. 25, 4 Os ei feistr a [b] rydd wraig iddo, a hi yn planta
44 iddo feibion, neu ferched; bydded y wraig a'i
c Gen.21, phlant i'w meistr, ac aed efe allan [c] ar ei ben ei hun.
9 5 Ac os y gwâs gan ddywedyd a ddywed, Hoff
gennifi fy meistr, fyng-wraig a'm plant; nid af fi
allan yn rhydd:
6 Yna dyged ei feistr ef at y swyddogion, a dy-
d Sal 40,6 ged ef at y ddôr, neu at yr orsyn: [d] a thylled ei feistr
e Lef. 25, ei glust ef a mynawyd, a gwasanaethed ef [e] byth.
40 f Neh. 5, 7 Ac os [f] gwerth gŵr ei ferch yn forwyn gaeth, ni
1, 5 g Adn 2,3 chaiff hi fyned allan [g] fel yr el y gweision allan.
8 Os heb ryglyddu bodd yng-olwg ei meistr y
bydd, fel na chymmero efe hi yn ddyweddi, yna
gadawed ei hadbrynnu hi: ni bydd rhydd iddo ei
gwerthu hi i bobl ddieithr, wedi iddo ef ei thwyllo hi.
9 Ond os iw fab y dyweddia efe hi, gwnaed iddi
yn ol deddf y merched.

10 Ac os arall a brioda efe, [h] na wnaed yn llai ei h 1 Cor
hymborth, ei [i] dillad, nai hiawn. 7, 6 i 1 Cor.
11 Ac os y tri hyn nis gwna efe iddi: yna aed hi 7, 3
allan yn rhad heb arian.
12 [j] Rhodder i farwolaeth[*] y neb a darawo ŵr fel j Num.
y byddo marw. 34, 31 *Lef. 24,
13 Ond yr hwn ni [k] chynllwynodd [y dŷn], onid 17 k 1 Sam.
[l] rhoddi o Dduw achlysur iw law, mi a ossodaf it 24, 10 l Deut.
fann lle y caffo ffoi. 19, 5 Num. 35,
14 A phan wnelo un yn [m] drahaus at gymydog, 6
gan ei ladd ef trwy dwyll; cymmer ef i farwolaeth m Num. 15, 30
oddi wrth fy [n] allor. n 1 Bren. 2, 28
15 Rhodder i farwolaeth yr hwn a darawo [o] ei Deut.19,
dad neu ei fam. 13. Heb. 10, 26
16 Rhodder i farwolaeth yr hwn a [p] ledrattao o Adn.18.
ddŷn, ac ai gwertho, os ceir arno. Deut. 24, 7
17 Rhodder i farwolaeth yr hwn a felldithio ei p Gen 37.
dad neu ei fam. 28
18 A phan ymryssono dynion, a tharo o'r naill
y llall a charrec, neu a dwrn, ac efe heb farw, onid
gorfod iddo orwedd,
19 Os cyfyd efe a rhodio allan wrth ei [q] ffonn, q 2 Sam.
yna y tarawydd a fydd yn ddihawl: yn unic rho- 3, 29 Zec. 8, 4
dded ei golled am ei waith, a chan feddygiaethu
meddyginiaethed ef.
20 Ac os teru un ei [r] wasanaeth-wr, neu ei wasan- r Lef. 25,
aeth-ferch a gwialen fel y byddo farw tann ei law 39, 40 Adn. 21
ef; gan ddial [s] dialer arno. s Rhuf.
21 Ond os erys [t] ddiwrnod neu ddau ddiwrnod, 13, 4 t Gen. 1, 5
na ddialer arno, canys [gwerth] ei arian ei hun Ioan 11.
ydoedd efe. 19
22 Ac os ymrafaelia dynion, a tharo o honynt
wraig feichiog fel yr el ei beichiogi oddi wrthi, ac
heb fod marwolaeth; gan ddirwyo dirwyer ef fel y
gosodo perchen y wraig arno, [u] a rhodded [hynny] u Deut.
trwy farn-wŷr. 22, 19
23 Ac os marwolaeth fydd; rhodder einioes am
einioes,
24 [v] Llygad am lygad, dant am ddant, llaw am v Lef. 24.
law, troed am droed. 20. Mat. 5, 38, 39
25 Llosc am losc, archoll am archoll, a chlais Barn. 1,
am glais. 6. 1 Sam. 15, 33
26 Os teru un lygad ei wasanaeth-wr, neu ei Esay 31.1 Mat. 26,
wasanaeth-ferch fel y llygro ef; gollynged ef yn 52. Luc
rhydd am ei lygad. 6, 38 Num. 35,
27 Ac os tyrr efe ddant ei wasanaeth-wr, neu 31
ddant ei wasanaeth-ferch: gollynged ef yn rhydd
[w] am ei ddant. w Mic 7, 8 Sal. 7, 11
28 Ac os ŷch a gornia ŵr, neu wraig fel y byddo
farw: gan labyddio [x] llabyddier yr ŷch, ac na fwy- x Gen. 9, 5
taer ei gîg ef, ac aed perchen yr ŷch yn rhydd. Salm 5, 6 a 139, 19
29 Ond os yr ŷch oedd yn cornio o'r blaen, a
[hyny] yn hyspys i'w berchennog, ac efe heb ei ga-
dw, ond lladd o honaw ŵr neu wraig: yr ŷch a
labyddir, a'i berchennog a roddir i farwolaeth.
30 Os [y] iawn a roddir arnaw, rhodded werth am y Num.
ei einioes, yn ol yr hyn oll a osodir arno. 35, 31 Adn. 32

31 Os mâb neu ferch a gornia efe; gwneler iddo
yn ol y gyfraith hon.
32 Ond os gwasanaeth-wr, neu wasanaeth-ferch
a Zec. 11, 12, 13 Mat.26,15 a gornia'r ŷch; rhodder iw berchennog [a] ddec sicl
ar hugain o arian, a llabyddier yr ŷch.
a Dat. 2, 14 33 Ac os egyr gŵr [a] bydèw, neu os cloddia un
1 Sam. 13, 5 bydew, [b] ac heb gaeu arno, a syrthio yno ŷch neu
Dat. 9, 2 assyn,
b 1 Tim. 1,13,14,15 34 Perchen y pydew a dâl [am dano,] arian a
dâl efe i'w berchennog, a'r [anifail] marw a fydd
eiddo yntef.
35 Ac os ŷch gŵr a deru ŷch ei gymydog fel y
byddo efe farw; yna gwerthant yr ŷch byw, a rhannant ei werth ef, a'r [ŷch] marw a rannant hefyd.
c Jer. 22, 21. 36 Neu os dangoswyd mai ŷch [c] hwylioc ydoedd
efe o'r blaen, a'i berchennog heb ei gadw ef; gan
dalu taled ŷch am ŷch, a bydded y marw eiddo ef.

## PEN. XXII.

*Cyfreithiau am ledrat. 5 Am sarhaed. 7 Am beth a rodder at un i'w gadw. 13 Am echwyn, benthyg, a llôg. 15 Am halogi merch. 17 Am raib. 19 Am gau-dduwiaeth. 20 Am ddieithraid, gweddwon, ac ymddifaid. 24 Am usuriaeth. 25 Am wystl. 27 Am barch swyddogion. 28 Am ddegwm.*

OS lledratta un ŷch, neu ddafad, a'i ladd neu
d Diar. 14, 4 ei werthu, taled [d] bum ŷch am ŷch, [e] a phe-
Num. 5,7 dair dafad am ddafad.
e 2 Sam. 12, 4 2 Os ceir [f] lleidr yn torri tŷ, ai daro fel y byddo
Luc 19,8 farw, [g] na [thynner] gwaed dano.
f Mat.24, 43 3 Os bydd haul wedi codi arno [tynner] gwaed am
g Num. 35, 27 dano: cwbl daled [y lleidr]; oni bydd ganddo [beth
h Pen. 21, 2 i dalu] [h] gwerther ef am ei ledrat.
4 Os gan gael y ceir yn ei law ef y lledrat yn fyw
i Diar. 6, 31 o eidion neu assyn, neu ddafad, taled yn [i] ddwbl.
Gen.4,15 5 Os pawr un faes, neu winllan, ac anfon ei an-
Sal.79,12 ifail i bori maes un arall, taled o'r hyn goref yn ei
faes, ac o'r hyn goref yn ei winllan.
6 Os tân a dyrr allan, ac a gaiff afel ar ddrain,
fel y difaer dâs o ŷd, neu ŷd ar ei droed, neu faes,
cwbl daled yr hwn a gynneuodd y tân.
7 Os rhydd un i'w gymydog arian, neu ddodrefn
i gadw, a'i ledratta o dŷ'r gŵr, os y lleidr a geir
taled yn ddwbl.
8 Os y lleidr ni cheir, duger perchennog y tŷ at
y swyddogion [i dyngu,] a estynnodd efe ei law
ar dda ei gymydog.
9 Am bob sarhaed, am eidion, am assyn, am
ddafad, am ddilledyn, [ac] am bob peth a gollo'r
hwn y dywedo [un mai] hwnnw yw efe: deued
j 2 Cron. 19, 10 achos y [j] ddau ger bron y swyddogion, a'r hwn y
k Deut. 25. 1 [k] barno y swyddogion yn ei erbyn taled i'w gym-
ydog yn ddwbl.
10 Os rhydd un assyn, neu eidion, neu ddafad,
l Gen. 30, 35, 36 neu un anifail at ei gymydog i [l] gadw, a marw o
a 31, 39 honaw, neu ei friwio, neu ei ddwyn o anfodd heb
neb yn gweled;
m 1 Bren. 2, 43. 11 [m] Bydded llŵ'r Arglwydd rhyngddynt ill
dau, a estynnodd [y ceidwad] ei law ar dda ei
gymydog; a chymmered ei berchennog [hynny] ac
na wnaed [y llall] iawn.
12 * Os gan ledratta y lledratteuir ef oddi wrtho, *Gen.31, 39.
gwnaed iawn iw berchennog; os gan ysclyfaethu yr
ysclyfaethir ef, [n] dyged ef yn destiolaeth, [ac] na n Amos 3, 12
thaled am yr hwn a ysclyfaethwyd.
13 Ond os [o] benthygia un gan ei gymydog [ddim] o Sal. 37, 21
ai friwo, neu ei farw, heb [fod] ei berchennog gyd
ag ef; gan dalu taled.
14 Os ei berchennoc [fydd] gyd ac ef, na wnaed
iawn: os llôg [yw] efe, am ei * lôg y daeth. * Deut. 22, 28
15 Ac os huda un [p] forwyn yr hon ni ddyweddiwyd, a gorwedd gyd a hi: gan gynescaeddu cyn- p Deut. 24, 24 25, 28
hescaedded hi'n wraig iddo ei hun.
16 Os ei thad a lwyr wrthyd ei rhoddi hi iddo,
taled arian yn ol gwaddol morwynion.
17 Na chaffed [q] rheibies fyw. q Deut. 18, 10
18 Llwyr rodder i farwolaeth bôb un a [r] orweddo 1 Sam. 28, 9
gyd ag anifail. Gal. 5,
19 [s] * Ladder yn farw a abertho i [t] dduwiau, r Lef. 18, 23.
onid i'r Arglwydd yn unic. s Deut. 17, 2
20 [u] Na * orthrymma, ac na ffina y dieithr, canys Num. 15, 27
dieithraid fuoch yn nhir yr Aipht.
21 Na orthrymmwch un [v] weddw, nac ymddifad. * Deut. 13, 13
22 *Os gwnewch iddo ddim blinder (canys os t Deut. 17, 2, 3
gwaedda ddim arnaf, mi a [w] lwyr wrandawaf ei u Deut 10, 19
waedd ef.) Zec 7, 10
23 Fy nigofaint a ennyn, a mi a'ch lladdaf a'r * Lef 19, 33
cleddyf, a bydd [x] eich gwragedd yn weddwon, a'ch v Esa. 1, 17. Iago
plant yn ymddifaid. 1, 27
24 Os echwyni arian [y] i'm pobl y rhai [ydynt] * Zec 7, 10 w Deut.
gyd a thi: na fydd fel occrwr iddynt, na ddod ti 10, 18 Sal 146, 9
usuriaeth arnynt. x Mat 7, 2 Barn 1, 7
25 *Os cymmeri ddilledyn dy gymydog ar wystl, y Deut.
dyro ef adref iddo erbyn [z] machludo haul. 25, 20
26 O herwydd hynny yn unic [sydd] iw roddi ar- * Lef 25, 37. Deut 23, 19
no ef, hwnnw yw ei ddilledyn am ei groen ef: mewn Sal. 15, 5
pa beth y gorwedd? a bydd os gwaedda efe arnaf z Deut 24, 6
im wrando, canys trugarog ydwyf. Iob 20, 16
27 Na*chabla swyddogion, ac na felldithia ben- * Act. 23, 5. Num
naeth dy bobl. 7, 2, 3
28 Nac oeda [dalu] dy [a] ffrwythau sychion, a a Diar 3, 9
‡gwlybion, dod ti i mi [b] * y cyntaf-anedic o'th ‡ Heb. ddagrau
feibion. b Num.
29 Felly y gwnei am dy eidion [ac] am dy dda- 18, 15
fad, saith niwrnod y bydd gyd ai fam, a'r wythfed *Pen 13,
dydd y rhoddi ef i mi.
30 A byddwch yn [c] ddynion sanctaidd i mi, ac c Deut
na fwyttewch gig wedi [d] ysclyfaethu yn y maes, 14, 21 d Ezec
teflwch ef i'r ci. 44, 31

## PEN. XXIII.

e Lef. 8. Mat 7, 6

*2 Ni ddylem ddilyn y blaid drechaf. 8 Na derbyn anrhegion. 10 Gorphywysfa tir a dynion. 13 Na chaffaer y gau-dduwiau. 14 Y tair gwyl arbennic. 20 Angel yr Arglwydd yn arwain y bobl. 24 Beth a ddylid i wneuthur i ddelwau. 25 Duw yn addo llwyddiant i blant Israel os ofnent ef.*

NA chyfot enllib, na ddod ti dy law gyd a'r f Esa. 19
annuwiol i fod yn [f] dŷst anwir. Sal 35, Deut. 16

boeth offrwm, yn aberth tanllyd, o arogl esmwyth
i'r Arglwydd.
Esa 53,7 10 Ac os o'r praidd [sef] o'r ʲ defaid, neu o'r
geifr, [yr offrymma efe] boeth offrwm, offrymmed
hwnnw yn wryw perffaith-gwbl.
11 A lladded ef ger bron yr Arglwydd o du'r
gogledd i'r allor, a thaenelled meibion Aaron yr
offeiriad ei waed ef ar yr allor o amgylch.
12 A thorred ef yn ddrylliau gyd a'i ben a'i wêr,
a gossoded yr offeiriad hwynt ar y coed, y rhai [a
fyddant] ar y tân, yr hwn [fydd] ar yr allor.
13 Onid golched y perfedd, a'r traed mewn dwfr:
k Gal. 1, a dyged yr offeiriad y ᵏ cwbl, a llosged ar yr allor,
20 hwn fydd boeth offrwm yn aberth tanllyd, o arogl
esmwyth i'r Arglwydd.
14 Ac os poeth offrwm o aderyn [fydd] ei offrwm ef i'r Arglwydd: yna dyged ei offrwm o dur-
l Pen.5,7 turau, neu o ˡ gywion colomennod.
Luc 2,24 Gen. 15, 15 A dyged yr offeiriad ef wrth yr allor, a thor-
17 Mat. 10, red ei ben ef rhwng ei fŷs a'i fawd, a llosged ar yr
16. allor: a gwasger ei waed ef ar ystlys yr allor.
Esa 38,14 16 A thynned ymmaith ei grombil ef yng-hyd ai
blu, a bwried hwynt ger llaw yr allor, o du'r dwy-
m Pen. 4, rain i'r ᵐ lle [y byddo] y lludw.
12 n Ioan 19, 17 Hollded ef hefyd rhwng ei adenydd,[etto] ⁿ na
33 wahaned: a llosged yr offeiriad ef ar yr allor, ar
2 Cor. 8, y coed y rhai [fyddant] ar y tân: dymma boeth
12 offrwm yn aberth tanllyd, o arogl esmwyth i'r
Arglwydd.

## PEN. II.

*Trefn y bwyd offrwm, ai bobiad*

o Heb 9, 5,8, 9,10 Esa. 66, PAN offrymmo dŷn ᵒ fwyd offrwm i'r Ar-
20 glwydd, bydded ei offrwm ef beillied: a thy-
Rhuf. 15, wallded olew arno, a rhodded thus arno.
16 Mal. 1,10 2 Yna * dyged ef at feibion Aaron yr offeiriaid a
Ex. 29, 2 Mal. 1,14 chymmered oddi yno loned ei law oi beillied ac
1 Ioan 2, oi olew, yng-hyd ai holl thus, a llosged yr offeir-
20 Sal. 45, 6 iad ei ᵖ goffadwriaeth ar yr allor, yn aberth tanllyd
Eph. 5, 2 * Pen. 6, o arogl esmwyth i'r Arglwydd.
15 p Sal. 20, 3 A [bydded] gweddill y bwyd offrwm i Aaron
Act. 10,4 ac iw feibion, yn ᵠ sanctaidd-beth cyssegredic o
q Phil. 4, danllyd aberth yr Arglwydd.
8 Heb. 13, 4 Hefyd pan offrymmech fwyd offrwm, wedi ei
16 r 1Cor.5, bobi [mewn] ffwrn, [dod] ʳ deissennau peillied
8 croiw, wedi eu cymmyscu trwy olew, ac afrllad
* Pen. 6, croiw wedi eu hiro ag * olew.
21 s Sal. 45, 5 Ond os bwyd offrwm ˢ ar radell [fydd] dy
1 Rhuf. 12 offrwm di, bydded beillied wedi ei gymmyscu yn
1 groiw mewn olew.
t Pen. 1,6 6 ᵗ Torr ef yn dammeidiau, a thywallt arno olew,
12 bwyd offrwm yw hwn.
7 Ac os bwyd offrwm padell [fydd] dy offrwm,
gweithier peillied trwy olew.
8 A dwg i'r Arglwydd y bwyd offrwm, yr hwn a
wneir o'r rhai hyn, sef dwg ef at yr offeiriad, a
dyged yntef ef at yr allor.
9 A choded yr offeiriad ei goffadwriaeth o'r bwyd
offrwm, a llosged ar yr allor, yn danllyd ᵘ aberth, u Pen. 6, 23
o arogl esmwyth i'r Arglwydd.
10 A [bydded] i Aaron ac i'w feibion weddill y
bwyd offrwm, yn sancteidd-beth cyssegredic o
danllyd aberth yr Arglwydd.
11 Na wneler yn lefeinllyd ddim bwyd offrwm
yr hwnn a offrymmoch i'r Arglwydd: canys am v Luc 12, 1
bob ᵛ sur-does, a phob mêl na losgwch o honaw Mat. 16, 6 Diar. 25,
aberth tanllyd i'r Arglwydd. 16
12 ʷ Offrymmwch y rhai hynny i'r Arglwydd yn Rhuf. 11, 3
offrwm blaen-ffrwyth, ond nac ânt ar yr allor [i w Pen. 23,
fod] yn arogl esmwyth. 17 * Mat. 5,
13 Dy holl fwyd offrwm hefyd a hellti * di' a 13 x Col. 4,
halen, ac na phalled ˣ halen cyfammod dy Dduw Ezec. 43,
o fod ar dy fwyd offrwm, ʸ offrymma halen ar bob 4 * Marc 9,
offrwm it. 50 Luc 14, 34
14 Ac os offrymmi i'r Arglwydd fwyd offrwm y y Num. 18, 19
ffrwythau cyntaf: ᶻ twysennau wedi eu crassu yn Ezec. 43, 24
tân [sef] yr hŷn a gurir allan o'r dwysen îr-lawn a Marc 9,
offrymmi di, yn fwyd offrwm dy ffrwythau cyntaf. 49 z Pen. 23,
15 A dod ᵃ olew arno, a gosot thus arno, bwyd 14 1 Cor. 15,
offrwm [yw] hynn. 20
16 A llosged yr offeiriad ei goffadwriaeth oi ŷd Ioan 12, 24
wedi ei guro allan, ac oi olew yng-hyd ai holl thus Pen. [illegible] 10
yn aberth tanllyd i'r Arglwydd. a 2 Cor. [illegible] 2

## PEN. III.

1 *Cyfraith am aberth hedd o eidionnau.* 6 *Defaid.* 7 *Wyn.*
12 *A geifr.*

AC os ᵇ aberth hedd [fydd] ei offrwm ef, pan b Sal. [illegible]
offrymmo efe eidion, offrymmed ef ger bron 19 Ex. 12, 5
yr Arglwydd yn berffaith-gwbl, pwy un bynnac ai Pen. 1, 3
yn wryw ai yn fenyw.
2 ᶜ A rhodded ei law ar benn ei offrwm a lladded c Pen. 1, 4
ef [wrth] ddrws pabell y cyfarfod, a thaenelled Pen. 1, 5
meibion Aaron yr offeiriaid y gwaed ar yr allor o
amgylch.
3 Ac offrymmed o'r aberth hedd aberth ᵈ tanllyd d Pen. 7,
i'r Arglwydd: [sef] y weren fol, a'r * holl wêr yr 15 Gen. 4, [illegible]
hwn [a fydd] ar y perfedd, * Ex. [illegible] 22
4 A'r ddwy aren, a'r gwêr [a fydd] arnynt, yr
hwn [fydd] ar y perfedd, a'r ᵉ rhwyden hefyd [a e Gal. [illegible] 24
fydd] ar yr afu a dynn efe ymmaith yng-hyd a'r Ex 29, [illegible]
arennau.
5 ᶠ A llosged meibion Aaron hynny ar yr allor, f Pen. [illegible]
yng-hyd a'r offrwm poeth yr hwn [fydd] ar y coed, 35 a 5, [illegible] Eph. 1, [illegible]
y rhai [fyddant] ar y tân, yn aberth tanllyd, o Gen [illegible]
arogl esmwyth i'r Arglwydd.
6 Ac os o'r praidd [y bydd] yr hyn a offrymmo g Pen. [illegible] 32
efe yn hedd-aberth i'r Arglwydd, offrymmed ef Adn 1, Gal. 3, [illegible]
yn wryw neu yn ᵍ fenyw perffaith-gwbl. Heb. [illegible] 15
7 Os oen a offrymma efe yn ei offrwm, yna dyg- Act. [illegible] Pen. 7, [illegible]
ed ef ger bron yr Arglwydd. 1 Pedr 1,
8 ʰ A gosoded ei law ar benn ei offrwm, a lladd- 17 h Pen. 1, [illegible]
ed ef o flaen pabell y cyfarfod, a thaenelled meib- i Mat. [illegible] 28
ion Aaron ei waed ef ar yr allor oddi amgylch. Dat. 2, [illegible]
9 Ac offrymmed o'r aberth hedd yn aberth tan- Gen. [illegible] 11
llyd i'r Arglwydd ei weren, ⁱ a'r gloren ei gyd, 1 Cor. 1, 17

torred hi ymmaith wrth asgwrn y cefn yng-hyd a'r
weren fol, a'r holl wêr yr hwn [fydd] ar y perfedd.
10 A'r ddwy aren, a'r gwêr yr hwn [a fydd] ar-
j Pen. 7, nynt, yr hwn [fydd] ar y perfedd, a'r rhwyden ar
23, 25 Deut. 32 yr afi, yng-hyd a'r arennau a dynn efe ymmaith.
14 Neh. 8,10 11 A llosged yr offeiriaid hynn ar yr allor, [fel]
k Pen. 7, 26 bwyd aberth tanllyd yr Arglwydd.
12 Felly os gafr [fydd] ei offrwm ef, dyged hi
ger bron yr Arglwydd.
13 A gosoded ei law ar ei phen, a lladded hi o
flaen pabell y cyfarfod, a thaenelled meibion Aa-
ron ei gwaed hi ar yr allor o amgylch.
14 Ac offrymmed o hynny ei offrwm o aberth
tanllyd i'r Arglwydd, sef y weren fol, a'r holl
wêr yr hwn [fydd] ar y perfedd.
15 A'r ddwy aren a'r gwêr yr hwn [fydd] arnynt,
yr hwn [fydd] ar y perfedd a'r rhwyden ar yr afi,
Gen. 9,4 Eph. 1,7 yng-hyd a'r arennau a dynn efe ymmaith.
1 Cor. 1, 30 16 A llosged yr offeiriad hwynt ar yr allor, yr
1 Pedr 1, 2 holl [j] wêr [fydd] i'r Arglwydd yn fwyd aberth
Heb. 10, 10 tanllyd o arogl esmwyth.
Act. 15, 29 17 Deddf dragwyddawl drwy eich oesoedd yn
1 Sam. 14 32. 33, 34 eich holl anneddau [yw] na fwyttaoch ddim gwêr
Pen. 17,14 Eph. 5,26 na dim * [k] gwaed."

## PEN. IV.

*Aberthau tros bechod a wnelo'r offeiriad. 13 Neu'r holl gynnulleidfa. 22 Neu y pennaeth mewn anwybod.*

"LLEFARODD yr Arglwydd hefyd wrth
Moses, gan ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd,
Pan becho dyn mewn [l] anwybod yn erbyn yr un o
l Heb. 10, 26 orchymynnion yr Arglwydd, a gwneuthur yn er-
1 Bren. 8, 46 byn un o honynt, y pethau ni ddylyd eu gwn-
euthur:
3 Os offeiriad [m] eneiniog a becha i ddwyn y bobl
m Pen. 8, 12 yn euog, offrymmed tros ei bechod yr hwn a
wnaeth, fustach ieuangc perffaith gwbl yn §aberth
dros bechod i'r Arglwydd.
§ Heb. Bech-aberth. 4 A dyged y bustach i ddrws pabell y cyfarfod
2 Cor. 5,21 ger bron yr Arglwydd, [n] a gosoded ei law ar ben y
n Heb 10, 4 bustach a lladded y bustach ger bron yr Arg-
Diar. 28, 13 lwydd.
5 A * chymmered yr offeiriad [o] eneiniog o waed
* Pen. 9, 18 y bustach, a dyged ef i babell y cyfarfod.
o Heb. 9, 24 6 A throched yr offeiriad ei fŷs yn y gwaed, [p] a
p Sal 51, 7 thaenelled o'r gwaed ar du wyneb gwahanlen y
cyssegr, ger bron yr Arglwydd seith-waith.
Heb. 9,13 1 Pedr 1,2 7 A gosoded yr offeiriad [beth] o'r gwaed [q] ger
q Pen. 16, 19 bron yr Arglwydd ar gyrn allor yr arogl-darth
Luc 22,44 llyssieuor, yr hon [sydd] ym mhabell y cyfarfod:
a thywallded holl waed [arall] y bustach wrth
droed allor y poeth offrwm yr hon [sydd wrth]
ddrws pabell y cyfarfod.
8 A thynned holl wêr bustach yr aberth dros
bechod o honaw; [r] sef y weren fol, a'r holl wêr
r Pen. 3,4 yr hwn [fydd] ar y perfedd.
9 A'r ddwy aren a'r gwêr yr hwn [fydd] arnynt
yr hwn [fydd] ar y perfedd, a'r rhwyden ar yr afi
a dynn efe ymmaith yng-hyd a'r arennau,
10 Megis y tynnodd o ŷch yr aberth hedd: A
llosged yr offeiriad hwynt ar allor y poeth offrwm.
11 [s] Ond croen y bustach, a'i holl gîg yng-hyd
a'i benn, a'i draed, a'i botten, a'i fiswel, s Pen. 6, 30
12 A'r holl fustach hefyd a ddwg efe allan i'r [t] tu * Ex. 29, 14
hwnt i'r gwersyll i le glân wrth dywallt-le y lludw, t Heb. 13, 11
ac a'i llysc ar goed yn tân: wrth dywallt-le y lludw Ioan 19, 17
y lloscir ef.
13 Ac os holl [u] gynnulleidfa Israel a becha mewn u Jos. 7,1 Heb. 10,
anwybod, a'r peth yn guddiedic o olwg y dyrfa, a 26 Num. 15
gwneuthur o honynt yn erbyn yr un o orchymyn- 17. a 35,
ion yr Arglwydd, ddim o'r hyn ni ddylid moi 11 Sal. 19,13
gwneuthur, a myned yn euog. a 119, 67 Pen. 16,
14 Pan wypir y pechod yr hwn y pechasant yn- 30
ddo, yna offrymmed y dyrfa [v] fustach ieuangc yn Pen. 5,3, 5
aberth dros bechod, a dygant ef o flaen pabell y v Num. 15 24
cyfarfod. Pen. 1, 5
15 A gosoded [w] henuriaid y gynnulleidfa eu w Ex. 3,16 Pen 24,1
dwylo ar ben y bustach ger bron yr Arglwydd, a Pen. 1, 4 Heb. 9,22
lladdant y bustach yng-wydd yr Arglwydd. 1 Pedr 4, 12
16 A dyged yr [x] offeiriad eneiniog o waed y bus- Pen. 8,15
tach i babell y cyfarfod. x Adn. 3 Pen. 21,
17 A throched yr offeiriad ei fŷs yn y gwaed, a 10. a 16, 32
thaenelled ar du wyneb y wahan-lenn ger bron yr Heb. 7,26 27
Arglwydd [y] seith-waith. Sal. 45,7
18 A gosoded o'r gwaed ar gyrn yr allor yr hon 1 Ioan 2, 27
[sydd] ger bron yr Arglwydd [sef] yr hon [sydd] 2 Cor 1,21 y Adn. 6
ym mhabell y cyfarfod, a thywallted yr holl waed
[arall] wrth waelod allor y poeth offrwm yr hon
sydd wrth ddrws pabell y cyfarfod.
19 A thynned ei holl wêr allan o honaw, a llosg-
ed ar yr allor.
20 A gwnaed i'r bustach hwn megis y gwnaeth
i fustach y pech-aberth, felly gwnaed iddo, a'r off-
eiriad a wna iawn drostynt, ac fe a faddeuir iddynt.
21 Yna dyged y bustach allan i'r tu [z] hwnt i'r z Adn. 12
gwersyll, a llosged ef fel y lloscodd y bustach Ex. 29,14
cyntaf, dymma aberth dros bechod y dyrfa.
22 Os pecha [a] pennaeth a gwneuthur trwy am- a Ezec 34
ryfusedd yn erbyn yr un o holl orchymynnion yr 24. a 38, 2. a 45,7
Arglwydd ei Dduw, ddim o'r hynn ni ddylid eu Num. 1,7 Ex. 18, 22
gwneuthur, a bod yn euog; Num. 16, 2. a 7, 2
23 Os amlyga ei fai iddo yr hwn a wnaeth, dyg-
ed ei offrwm o lwdn gafr gwryw perffaith-gwbl.
24 A gosoded ei law ar benn y llwdn, a lladded
ef ger bron yr Arglwydd [b] yn y lle y lleddir y b Pen. 1, 11
poeth-offrwm: dymma aberth tros bechod. Ex. 29, 38
25 A chymmered yr offeiriad o waed yr aberth
tros bechod ar ei fŷs, a gossoded ar gyrn allor y
[c] poeth-offrwm a thywallded ei waed ef wrth wael- c Adn. 7, 8
od allor y poeth-offrwm. Pen. 6,26 30
26 A llosged ei holl wêr ar yr allor fel gwêr yr d Num. 5 6
aberth hedd, a gwnaed yr offeiriad iawn drosto † Heb. un enaid
am ei bechod, a maddeuir iddo. Ex. 12,49
27 Ac [d] os pecha † neb o bobl y wlad mewn an- Num. 15, 16

wybod, gan wneuthur yn erbyn yr un o orchymynnion yr Arglwydd ddim o'r [pethau] y rhai ni ddylid eu gwneuthur a bod yn euog;

28 Os ei bechod yr hwn a bechodd a amlyga iddo: yna dyged ei offrwm o lwdn [e] gafr fenyw berffaith-gwbl dros ei bechod yr hwn a bechodd efe.

29 A * [f] gosoded ei law ar benn yr aberth dros bechod, a lladded yr aberth tros bechod yn lladdfan y poeth-offrwm.

30 A chymmered yr offeiriad o'i gwaed hi ar ei fŷs a rhodded ar gyrn allor y poeth-offrwm, a thywallted ei holl waed hi wrth waelod yr allor.

31 [g] A thynned ei holl wêr hi, fel y tynnir y gwêr oddi ar yr aberth hedd, a llosged yr offeiriad [ef] ar yr allor: yn arogl esmwyth i'r Arglwydd, a gwnaed yr offeiriad iawn trosto a maddeuir iddo.

32 Ac os dwg efe ei offrwm tros bechod [o] [h] oen, dyged hi'n fenyw berffaith-gwbl.

33 A gosoded ei law ar benn yr aberth dros bechod, a lladded hi tros bechod yn y lle y lleddir y poeth offrwm.

34 A chymmered yr offeiriad ar ei fŷs o waed yr [i] aberth tros bechod, a gosoded ar gyrn allor y poeth offrwm, a thywallded ei holl waed hi wrth waelod yr allor.

35 A thynned ei * holl wêr hi, fel y tynnir gwêr oen yr aberth hedd, a llosged yr offeiriad hwynt ar yr allor gyd ag aberth tanllyd yr Arglwydd, a gwnaed yr offeiriad iawn trosto am ei bechod yr hwn a bechodd, a maddeuir iddo."

e Pen. 5, 7, 11. Gal. 3, 28. Act 10, 34. * Pen. 16, 21. f Heb. 10, 4, 10, 22. Pen. 1, 4. a 4, 4. g Pen. 13, 14. Pen. 1, 9. Rhuf. 12, 1. 1 Pedr 2, 5. Eph. 5, 2. Job 42, 8. Ezra 6, 9, 10. h Pen. 3, 12. Ex. 12, 5. Pen. 22, 21. Heb. 9, 13, 14. Eph. 5, 27. 1 Cron. 28, 9. 1 Pedr 3, 18. 2 Cor. 5, 21. Esa. 53, 9. 1 Pedr 2, 24. i Pen. 4, 3. * Pen. 3, 9.

## PEN. V.

*Am glywed tyngu. 2 Am gyffwrdd a pheth aflan. 4 Am dyngu yn ddiarod. 15 Am sarhaed ar beth cyssegredic.*

"OS pecha [j] dyn a chlywed llais llw, ac yntef yn dŷst naill ai'n gweled ai'n gwybod, oni fynega, yna efe a ddwg ei anwiredd.

2 Os dyn a gyffwrdd wrth ddim [k] aflan, pwy bynnac ai wrth furgyn bwystfil [l] aflan, ai wrth furgyn anifail aflan, ai wrth furgyn ymlusgiad aflan, er [bod y peth] yn guddiedic oddi wrtho ef, aflan ac euog yw efe.

3 Neu pan gyffyrddo âg aflendid dyn, [m] pa aflendid bynnac iddo, yr hwn y bydd efe aflan o'i blegit: a'r [peth] yn guddiedig rhagddo, pan gaffo wybod euog yw.

4 Neu [os] dyn a dwng, gan draethu a'r gwefusau [n] ar wneuthur drwg, neu wneuthur da am yr hyn oll a draetho dyn drwy lw, a'r [peth] yn guddiedic rhagddo, pan gaffo efe wybod, euog yw ‡ o un o hyn.

5 A phan fyddo efe euog o un o hyn; [o] yna cyffessed yr hyn y pechodd ynddo.

6 A dyged i'r Arglwydd ei [p] offrwm dros gamwedd am ei bechod yr hwn a bechodd: [sef] benyw o'r praidd, dafad neu lwdn gafr yn aberth tros bechod, a gwnaed yr offeiriad iawn trosto am ei bechod.

7 Ond os ei law ni chyrredd werth oen, dyged i'r Arglwydd yn iawn am ei gamwedd yr hwn a bechodd, * ddwy durtur neu [q] ddau gyw colomen, y naill yn aberth tros bechod, ar llall yn boeth offrwm.

j Adn. 15, 17. Gen. 24, 41. Diar. 29, 24. Mat. 26, 63. k Num. 19, 6. Pen. 11, 8, 31. 1 Tim. 5, 22. 2 Cor. 6, 17. m Pen. 12, 13. n Act. 13, 22. ‡ o'r pethau hyn. o Diar. 28, 13. p Esa. 53, 10. Pen. 6, 17. 1 Cor. 11, 31. Pen. 4, 32. Gal. 3, 26.

8 A dyged hwynt at yr offeiriad ac offrymmed efe yr hwn [sydd] tros [r] bechod yn gyntaf, a rhwng ei fŷs ai fawd torred ei benn wrth ei wegil, ond na thorred ef ymmaith.

9 A thaenelled o waed yr aberth tros bechod ar [s] ystlys yr allor, a gwascer y rhan arall o'r gwaed wrth waelod yr allor, dymma aberth tros bechod:

10 A'r ail a wna efe yn offrwm poeth yn ol y ddefod: [t] a'r offeiriad a wna iawn drosto am ei bechod yr hwn a bechodd, a maddeuir iddo.

11 Ac os ei law ni ddaw i ddwy durtur neu i ddau gyw colomen: yna dyged yr hwn a bechodd ei offrwm [sef] o ddecfed ran Epha o beillied yn aberth tros bechod: [u] na osoded olew ynddo, ac na rodded thus arno: canys aberth tros bechod yw efe.

12 A dyged hynny at yr offeiriad, a chymmered yr offeiriad o honaw loned ei law [v] yn goffadwriaeth: a llosged ar yr allor, ar aberth tanllyd yr Arglwydd: dymma aberth tros bechod.

13 Felly gwnaed yr [w] offeiriad iawn drosto ef ag un o hyn am ei bechod yr hwn a bechodd efe, a maddeuir iddo, a bydded i'r offeiriad [ran] megis [o'r] bwyd offrwm.

14 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd,

15 Os gwna dŷn gamwedd, [x] a phechu drwy amryfusedd, mewn [dim] o'r pethau a gyssegrwyd i'r Arglwydd: yna dyged i'r Arglwydd yn aberth dros ei gamwedd, hwrdd perffaith-gwbl o'r praidd yn dy bris di [sef dau] o siclau arian, yn ol sicl y cyssegr, yn aberth tros gamwedd.

16 Yna taled yr hyn y pechodd [ynddo] o'r [y] peth cyssegredic, a rhodded ei bummed ran yn chwanec atto, a rhodded ef [z] at yr offeiriad, a gwnaed yr offeiriad iawn trosto â hwrdd yr offrwm tros gamwedd, a maddeuir iddo.

17 Ac os pecha enaid, * a gwneuthur [yn erbyn] yr un o holl orchymynnion yr Arglwydd, [ddim o'r] hyn ni ddylid eu gwneuthur, [a] er na wydde, etto euog fydd, a'i anwiredd a ddwg.

18 Yna dyged hwrdd perffaith-gwbl o'r praidd, yn dy bris di, at yr offeiriad yn offrwm tros gamwedd, a gwnaed yr offeiriad iawn trosto [b] am ei amryfusedd yr hwn a gamgymmerodd efe ac yntef heb wybod, a maddeuir iddo.

19 [c] Aberth tros gamwedd [yw] hyn: mawr gamwedd a wnaeth yn erbyn yr Arglwydd."

* Pen. 12, 8. Luc 2, 24. q 1 Cor. 1, 13, 14. Iago 2, 5. 1 Pedr 1, 18. r 1 Pedr 2, 24. Pen. 1, 15. s Ioan 17, 19. t Pen. 14. Rhuf. 5, 11. 1 Ioan 2, 1, 2. u Num. 5, 15. Mat. 3, 17. Ioan 1, 17. v Pen. 2, 2. Pen. 6, 15. w 1 Cor. 9, 13. x Pen. 4, 2. Pen. 22, 14. Pen. 4, 3. Pen. 1, 10. Pen. 27, 8, 12. y Adn. 1. Pen. 27, 13, 15. z Ioan 1, 7. a Sal. 19, 15. Luc 12, 48. Pen. 4, 2. Heb. 5, 2. b Num. 15, 30. c 1 Ioan 1, 7. Heb. 10, 10, 11, 12.

## PEN. VI.

*Aberthau am feiau a wneler trwy wybod. 9 Trefn y poeth offrymmau. 14 Trefn y bwyd offrwm. 20 Aberth Aaron a'i feibion. 25 Trefn offrwm tros bechod.*

"A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd,

2 Os pecha dŷn a gwneuthur [d] camwedd yn erbyn yr Arglwydd, a gwadu wrth ei gymydog yr hyn a rodded atto i'w gadw, neu am yr hyn y rhoddes efe ei law am dano, neu am yr hyn drwy drawster a ddygodd efe, neu y byddo yn ei gam attal oddi ar ei gymydog:

3 Neu os cafodd beth gwedi ei [e] golli, ai wadu, a thyngu mewn anudon, am ba un bynnac o'r holl bethau a wnelo dŷn gan bechu ynddynt.

4 Yna am iddo bechu a bod yn euog, bydded iddo [f] roddi yn ei ol y trais yr hwn a dreisiodd efe, neu 'r camattaliaeth yr hwn a gamattaliodd, neu 'r peth yr hwn a adawyd i gadw gyd ag ef, neu 'r peth wedi ei golli yr hwn a gafodd efe.

5 Neu beth bynnac y tyngodd efe anudon am dano, taled hynny erbyn ei benn, a chwaneged ei bummed ran atto: [g] a'r † dydd yr offrymmo dros gamwedd, rhodded ef i'r neb ai piau.

6 A dyged i'r Arglwydd yn offrwm [h] dros gamwedd hwrdd perffaith-gwbl o'r praidd, yn dy bris di, yn offrwm dros gamwedd, at yr offeiriad.

7 A gwnaed yr offeiriad [i] iawn trosto ger bron yr Arglwydd, a maddeuir iddo, am ba beth bynnac a wnaeth, i fod yn euog o honaw.

8 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

9 Gorchymmyn i Aaron ac iw feibion, gan ddywedyd, Dymma [j] gyfraith y poeth offrwm [bydded] y poeth offrwm hwn ar yr aelwyd [yr hon sydd] ar yr allor, ar hŷd y nos, hyd y borau, a chynneuer tân yr allor arni:

10 Gwisced yr offeiriad hefyd ei lieinwisc am dano, a gwisced lawdrau lliain am ei [k] gnawd, a choded y lludw lle 'r yssodd tân y poeth aberth ar yr allor, a gossoded ef gerllaw 'r allor.

11 A dioseed ei wiscoedd, a gwisced [l] ddillad eraill, a dyged allan y lludw i'r tu hwnt i'r gwersyll, i le glân.

12 A chynneuer y tân [fydd] ar yr allor arni, [m] na ddiffodded: ond llosged yr offeiriad goed arni, o forau i forau: a threfned y poeth offrwm arni, a llosced wêr yr aberth hedd arni.

13 [n] Cynneuer y tân bob amser ar yr allor, na ddiffodded ef.

14 Dyma hefyd gyfraith y bwyd [o] offrwm, dyged meibion Aaron ef ger bron yr Arglwydd o flaen yr allor.

15 A choded o honaw yn ei law o beillied y bwyd offrwm, ac oi olew, a'r holl thus yr hwn [fydd] ar y bwyd offrwm, [p] a llosced ei goffadwriaeth ef ar yr allor, yn arogl esmwyth i'r Arglwydd.

16 [q] A'r gweddill o honaw a fwyta Aaron ai feibion, yn groiw y bwyteuir ef: yn y lle sanctaidd o fewn cynteddfa pabell y cyfarfod y bwytânt ef.

17 [r] Na phober ef trwy lefeu: rhoddais ef yn rhan iddynt o'm haberthau tanllyd: sancteidd-beth cyssegredic yw hynn, megis o'r aberth tros bechod, a'r aberth tros gamwedd.

18 Pob gwryw o blant Aaron a fwytânt hynn [trwy] ddeddf dragywyddol yn eich oesoedd o aberthau tanllyd yr Arglwydd: pob dim oll a gyffyrddo a hwynt [s] cyssegredic fydd.

19 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd,

20 Dymma offrwm Aaron, ai feibion, yr hwnn a offrymmant i'r Arglwydd, sef decfed ran Epha o beillied bwyd offrwm bob amser ar y dydd yr [t] eneinir ef: ei hanner y borau, ai hanner bryd nawn.

21 Gwneler ef [*] trwy olew ar y radell, [yna] y dygi ef i mewn, wedi ei grassu, ac offrymma ddryllìau y bwyd offrwm wedi ei grassu, yn arogl esmwyth i'r Arglwydd.

22 A'r offeiriad ai feibion ef yr hwn a eneinir yn ei le ef, gwnaed hynn [drwy] ddeddf dragywyddol, [u] lloscer y cwbl i'r Arglwydd.

23 A phob bwyd offrwm offeiriad byddet wedi ei losci oll, na fwytaer ef.

24 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

25 Llefara wrth Aaron ac wrth ei feibion, gan ddywedyd, Dymma gyfraith yr aberth tros bechod, yn y lle y lleddir [v] y poeth offrwm, y lleddir yr aberth tros bechod, ger bron yr Arglwydd, sanctaidd-beth cyssegredic [yw] efe.

26 Yr offeiriad yr hwn ai [w] hoffrymmo tros bechod, ai bwyta, yn y lle sanctaidd y bwytteir ef, yng-hynteddfa pabell y cyfarfod.

27 Beth bynnac a gyffyrddo ai gig ef a [x] fydd cyssygredic, a phan daenello oi waed ef ar ddilledyn, golch yn y lle sanctaidd yr hynn y taenello [y gwaed] arno.

28 A [*] thorrer y llestr pridd yr hwn y berwir ef ynddo, ond os mewn llestr prês y berwir ef scwrier, a golcher ef [y] mewn dwfr.

29 Bwytaed pob gwryw ym mysc yr offeiriaid ef, sanctaidd-beth cyssegredic [yw] efe.

30 Ac na fwytaed un [z] offrwm tros bechod yr hwn y dygir oi waed i babell y cyfarfod, i wneuthur iawn yn y lle sanctaidd, [ond] [a] llosger mewn tân."

## PEN. VII.

1 *Deddf yr offrwm tros gamwedd a phechod.* 11 *Deddf yr offrwm hedd,* 23 *Gwahardd bwyta y gwêr a'r gwaed.*

"DYMMA hefyd gyfraith yr [b] offrwm dros gamwedd, sancteidd-beth cyssegredic [yw] efe.

2 [c] Yn y man lle y lladdant y poeth offrwm, y lladdant yr aberth tros gamwedd, ai waed a daenella efe ar yr allor o amgylch.

3 Ai holl wêr a offrymma efe allan o honaw, [d] y gloren hefyd a'r weren fol.

4 A'r ddwy aren [e] a'r gwer yr hwn [fydd] arnynt yr hwn [fydd] yng-hylch y perfedd, a'r rhwyden ar yr afu, yng-hyd a'r arennau a dynn efe ymmaith.

[Margin references: d Pen. 5, 15. Act. 5, 4. Gen. 20, 6. 9. Pen. 19, 11. 1 Tim. 1, 10. Luc 19, 8 — e Deut. 22, 3. Ex. 23, 4 — f Num. 5, 7 — g Pen. 5, 6. Matt. 5, 23 — † Heb. yn nydd i gamwedd — h Heb. 10 — i Salm — Pen. 1, 4 — Pen. 2, 2 — Ex. 28 — Ezec. 44, 18 — Pen. 9 — s Ex. 29, 37 — t Heb. 8, 3 — * Lef. 2, 5 — u Pen. 7, 10. Heb. 7, 27 — v Matth. 26, 21 — w Pen. 10, 17. Ezec. 44, 28. Hos. 4, 8. Ioan 6, 56. 1 Pedr. 2, 5. Dat. 1, 6 — x Ex. 29, 30, 37. 1 Thes. 4, 4. Rhuf. 6, 13 — Pen. 11, 33. 2 Cor. 7 — * Pen. 15, 12 — y Pen. 8, 11 — z Pen. 4, 5 — a Pen. 10, 17. Heb. 9, 11 — b Pen. 5, 6. Pen. 2, 3 — c Pen. 1, 5 — d Salm 51, 6. Ier. 4, 14 — e Pen. 3, 4]

5 A llosged yr offeiriad hwynt ar yr allor yn
aberth tanllyd i'r Arglwydd: aberth tros gam-
wedd [yw] hwn.
6 Pob gwryw ym mysg yr offeiriaid ai bwyta:
yn y lle sanctaidd y bwyteuir ef, sancteidd-beth
cyssegredic [yw] efe.
f 2Cor.5, 7 Fel [y bydd] yr [f] aberth tros bechod felly [y
21. Esay bydd] yr aberth tros gamwedd, un gyfraith [sydd]
53, 11 1 Pedr 2, iddynt: yr offeiriad yr hwn a wnai iawn ag ef, ai piau.
24 8 A'r offeiriad yr hwn a offrymmo boeth-offrwm
g Gen. 3, neb piau [g] groen y poeth-offrwm yr hwn a off-
21. a 27, 16 rymmo efe.
Rhuf. 13, 13 9 A phob bwyd offrwm yr hwn a grasser mewn
Phil. 3, 9 h Pen. 2, ffwrn,[h] ac hyn oll a wneler mewn padell, neu ar
5, 6 radell, fydd eiddo'r offeiriad yr hwn ai hoffrymmo.
Gal. 6, 6 1Cor. 9, 7 10 A phob bwyd offrwm wedi ei gymmysgu
trwy [i] olew, neu yn sych a fydd i holl feibion Aaron
i Pen. 5, 11 bob un fel ei gilydd.
11 Dymma hefyd gyfraith yr aberth hedd,[j] yr
j Pen 3, 13 Heb. 13, hwn a offrymma efe i'r Arglwydd.
15. Gen. 28, 20. 12 Os yn lle diolch yr offrymma efe hynn, off-
Sal. 107, 4 rymmed yn lle aberth diolch [k] deisennau croiw,
k Pen 22. wedi eu cymmyscu drwy olew, ac afrllad croiw,
29. Salm wedi eu hiro ag olew; a pheillied wedi ei grassu'n
50, 14 2 Cron. deisennau wedi eu cymmyscu ag olew.
29, 31 a 33, 16 13 Heblaw y teisennau offrymmed [l] fara lefeinllyd
Pen 2, 4 [yn] ei offrwm, am ei hedd aberth o ddiolch.
l 1Cor. 5, 8. Mat. 14 Ac offrymmed o hyn un [dorth] o bob off-
13, 33 m Ex. 29, rwm [m] yn offrwm derchafel i'r Arglwydd: [a] by-
27 dded [hwnnw] eiddo'r offeiriad yr hwn a daenello
waed yr ebyrth hedd.
n Deut 12, 15 A chig ei hedd aberth o ddiolch a [n] fwyteuir y
6. Pen. dydd yr offrymmir ef: na adawer o honaw hyd
22, 30 y borau [ddim.]
o Num. 16 Ond os [o] adduned neu rodd trwy fodd a fydd
30, 2 aberth ei offrwm ef, y dydd yr offrymmo efe ei
Pen. 22, 23 aberth, bwytaer ef: a thrannoeth bwytaer yr hyn
fyddo yn weddill o honaw.
p Ex 10, 12 17 Ond yr hyn a fyddo o gig yr aberth yn we-
Gen. 33, 4 ddill [p] y trydydd dydd, lloscer yn tân.
18 Ac os gan fwytta y bwyteuir [dim] o gig ei ab-
q Num. erth hedd ef o fewn y trydydd dydd, [q] ni byddir
18, 27 Pen 19, 7 boddlon i'r hwn a'i hoffrymmo ef, [ac] nis cyfrifir
Esa. 65, 4 Gen 19, 15 iddo, ffieidd-beth fydd: a'r dyn a fwyta o honaw
a ddwg ei anwiredd.
r Deut. 19 A'r [r] cig a gyffyrddo a dim aflan, ni fwyteuir,
12, 15 mewn tân y llosgir ef: a'r cig [arall] pob glân a
fwyttu o honaw.
20 A'r dyn yr hwn a fwytu o gig yr hedd aberth,
yr hwn [a berthyn] i'r Arglwydd, a'i aflendid
arno, torrir ymmaith y dyn hwnnw o fysc ei bobl.
s Pen. 12, 21 Ac os dyn a gyffwrdd a dim aflan, [sef] ag
15. a 5, 15 aflendid [s] dyn, neu ag anifail aflan, neu ag un
1Cor. 11, ffieidd-beth aflan, a bwytta o gig yr hedd aberth,
27 yr hwn [a berthyn] i'r Arglwydd: yna y torrir
ymmaith y dyn hwnnw o fysc ei bobl.
22 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Moses,
gan ddywedyd,
23 Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd,
[t] Na fwytewch ddim gwêr eidion, neu ddafad, t Deut. 14,
neu afr. 17
24 Etto gwêr [u] burgyn, neu wêr ysclyfaeth a u Ex. 22,
ellir ei weithio mewn pob gwaith: ond gan fwytta 31 Pen 17, 15
na fwyttewch [ef.] Deut. 14, 21. Ezec.
25 O herwydd pwy bynnac a fwyttu o wêr yr 4, 14. a 44,
anifail, o'r hwn yr offrymmir aberth tanllyd i'r 31
Arglwydd: [v] torrir ymmaith yr enaid a fwyttu o v Act. 20,
fysc ei bobl. 27
26 Na fwyttewch ychwaith [w] * ddim gwaed o w Pen 3,
fewn eich cyfanneddau, o'r eiddo aderyn nac o'r 17. a 17, 10
eiddo anifail. * Gen 9, 4
27 Pob enaid a fwyttu ddim gwaed, torrir ym-
maith yr enaid hwnnw o fysc ei bobl.
28 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Moses,
gan ddywedyd,
29 [x] Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, x Pen 3,
Y neb a offrymmo ei aberth hedd i'r Arglwydd, Diar. 15,
dyged ei rodd o'i aberth hedd i'r Arglwydd. 26. 1Cron.
30 Ei ddwylo a ddygant ebyrth tanllyd i'r Ar- 28, 9 Rhuf. 6,
glwydd dyged hyn, y gwêr yng-hyd a'r barwy- 3, 4 Phil. 3, 12
deu: y barwyden [fydd] i'w *chwhwfanu yn offrwm Pen. 8, 27
cwhwfan ger bron yr Arglwydd. a 9, 21 * Ex. 29,
31 A llosged yr offeiriad y gwêr, ar yr allor, a 24
bydded y barwyden i Aaron ac i'w feibion.
32 Rhoddwch hefyd y balfais ddehau yn [y] off- y Iago 1,
rwm derchafael i'r offeiriad o'ch ebyrth hedd chwi. 17 Phil 3, 9
33 A'r hwn o feibion Aaron a offrymmo waed Diar. 15,
yr ebyrth hedd, a'r gwêr, bydded iddo ef yr [z] ysc- 24
wyddoc ddehau yn rhan. z 1 Cron.
34 O herwydd parwyden y cwhwfan, ac ysc- 29, 11
wyddoc y derchafael a gymmerais i gan feibion Ex. 29, 28
Israel o'i hebyrth hedd hwynt, ac a'i rhoddais a Gen. 15,
hwynt i Aaron yr offeiriad, ac i'w feibion yn 17 1 Cor. 9,
ddeddf dragywyddol oddi wrth feibion Israel. 13, 14
35 Hyn yw [braint] eneiniad Aaron, ac eneiniad b Esa. 1,
ei feibion o ebyrth tanllyd yr Arglwydd, o'r dydd 27 Ier. 7, 3
y nessaodd efe hwynt i offeiriadu i'r Arglwydd, 1Cor. 14,
36 Yr hwn a orchymynnodd yr Arglwydd roddi 23
iddynt y dydd yr eneiniodd efe hwynt allan o
feibion Israel, [drwy] ddeddf dragywyddol drwy
eu hoesoedd.
37 Dymma gyfraith y poeth-offrwm, y bwyd c Ex. 29,
offrwm, a'r aberth tros bechod, a'r aberth tros 9. a 28, 41
gamwedd, a'r [c] cyssegriadau, a'r aberth hedd, 1 Bren.
13, 33
38 Yr hon a orchymynnodd yr Arglwydd wrth d Ex. 19,
Moses ym [d] mynydd Sinai, yn y dydd y gorch- 23 Gal. 4, 25
ymynnodd efe i feibion Israel offrymmu eu hoff- Heb 12,
rymmau i'r Arglwydd, yn anialwch Sinai." Esa 35, 1

## PEN. VIII.

*Eneiniad Aaron a'i feibion.*

"YNA y llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, e Ex. 28, 1
gan ddywedyd, e Ex. 30,
23
2 [e] Cymmer * Aaron a'i feibion gyd ag ef, a'r Ex. 29, 1
gwiscoedd, ac olew'r eneiniad, a bustach yr aberth Pen. 4, 3

tros bechod, a darhwrdd, a chawell y bara croiw.
f Pen. 1,3 Mat. 18, 20 3 A chasgl di yr holl gynnulleidfa i [f] ddrws pa-
bell y cyfarfod.
Ex. 29,31 g Ex. 39, 43 4 A gwnaeth Moses [g] fel y gorchymynnodd yr
Heb. 3,5 Arglwydd iddo: a chasglodd y gynnulleidfa i
ddrws pabell y cyfarfod.
5 A dywedodd Moses wrth y gynnulleidfa,
Dymma y peth yr hwn a orchymynnodd yr Ar-
glwydd ei wneuthur.
6 Yna y parodd Moses i Aaron, ac i'w feibion
h 1 Ioan 5, 6 nessau: ac efe ai golchodd hwynt [h] mewn dwfr:
Ezec. 36, 25 7 Ac efe a roddes am dano ef [i] y bais, ac ai
Heb. 10, 22 gwregyssodd ef a gwregys, ac a wiscodd y fantell
Esa. 1,16 am dano, ac a roddes yr ephod am dano, ac ai
Ex. 28,4 gwregyssodd a gwregys yr ephod, ac a gaeodd am
Ex. 28,15 Ex. 28,30 dano ag ef.
Heb. 5, 1, 5 8 Ac a osododd y ddwyfronnec am dano, ac a
roddes yr Urim a Thummim wrth y ddwyfronnec.
9 Ac efe a osododd y meitr ar ei benn ef, ac a
k Ex. 28, 37 osododd ar y meitr ar [k] gyfer ei wyneb ef dalaeth
Eph. 1,6 aur y goron sanctaidd, fel y gorchymynnase yr
Arglwydd i Moses.
10 A Moses a gymmerodd olew'r eneiniad ac a
l Ex. 30, 26 * irodd y tabernacl, a'r hyn oll a'r [a ydoedd]
ynddo: ac ai cyssegrodd hwynt.
11 Ac a daenellodd o honaw ar yr allor saith
Ex. 30,18 waith, ac a irodd yr allor, [l] ai holl lestri, a'r noe
hefyd, a'i throed i'w cyssegru.
12 Ac efe a dywalltodd o olew'r enneiniad ar
m Salm 131, 1 [m] benn Aaron, ac ai henneiniodd ef, i'w gyssegru.
2 Cor 2,15 13 Yna y parodd Moses i feibion Aaron nessau,
a gwisco peisiau am danynt, a gwregyssodd hwynt
a gwregys, ac a osododd gappiau am eu pennau
fel y gorchymynnase'r Arglwydd wrth Moses.
n Ex. 29, 10, 14 14 Yna y dug efe fustach [n] yr aberth tros bech-
Pen. 1, 4 od: ac Aaron a'i feibion a roddasant eu dwylo ar
Esa. 53,5 benn bustach yr aberth tros bechod.
o Heb. 9, 2. 28 15 A Moses [ai] [o] lladdodd, ac a gymmerth o'r
Pen. 4,25 gwaed, ac ai rhoddes ar gyrn yr allor o amgylch
Ex. 29,12, 16 ai fŷs: ac a burodd yr allor, ac a dywalltodd y
Mat 23, gwaed wrth waelod yr allor, ac ai cyssegrodd hi
19 i wneuthur iawn arni.
p Pen. 4,5 16 Efe hefyd a gymmerodd yr [p] holl wêr, yr hwn
a 4, 8 Ex. 23, 13 [oedd] ar y perfedd, a rhwyden yr afi, a'r ddwy
Pen. 3,10 aren, ai gwêr, a Moses ai lloscodd ar yr allor.
17 A'r bustach, ai groen, ai gig, ai fiswel, a losc-
q Heb 13, 2 odd efe mewn tân o'r [q] tu allan i'r gwersyll: fel
Ex. 29,14 y gorchymynnase yr Arglwydd wrth Moses.
18 Yna y nessaodd efe hwrdd y poeth offrwm,
ac Aaron ai feibion a osodasant eu dwylo ar benn
yr hwrdd.
r Pen. 6, 30 a 1,2,3 19 A Moses [ai] lladdodd, ac a daenellodd y
Khaf 12,1 gwaed ar yr allor o amgylch.
20 Ac efe a dorrodd yr hwrdd yn ddarnau, a
lloscodd Moses y penn, y darnau, a'r gwêr.
21 Ond y perfedd a'r traed a olchodd efe mewn
dwfr, a lloscodd Moses yr hwrdd oll ar yr allor:
poeth offrwm [yw] hwn, i [fod] yn [s] arogl esmwyth, s Gen. 8, 20
aberth tanllyd yw i'r Arglwydd: fel y gorchym-
ynnodd yr Arglwydd i Moses.
22 Yna y nessaodd efe yr * ail hwrdd, [t] sef * Ex. 29, 19
hwrdd y cyssegriadau: ac Aaron ai feibion a t Pen. 7, 37
osodasant eu dwylo ar benn yr hwrdd.
22 A Moses ai lladdodd ac a gymmerodd oi
waed, ac ai rhoddes ar gwrr clust ddehau Aaron, ac
ar fawd ei law ddehau, ac ar fawd ei droed [u] dehau. u Ex. 29, 20
24 Moses hefyd a nessaodd feibion Aaron ac a 1 Cor. 11,
roddes o'r gwaed ar gwrr eu clust ddehau ac ar 23
fawd eu llaw ddehau, ac ar fawd eu troed dehau:
a thaenellodd Moses y gwaed ar yr allor oddi
amgylch.
25 Ac efe a gymmerodd hefyd * y gwêr, a'r [v] glo- * Ex. 29,
ren a'r holl wêr yr hwn [oedd] ar y perfedd, a 22 v Pen. 3,9
rhwyden yr afi, a'r ddwy areu, ai braster hwynt, a'r
yscwyddoc ddehau.
26 A chymmerodd o gawell y bara croiw yr hwn
[oedd] ger bron yr Arglwydd, un deissen groiw,
ac un deissen o [w] fara olewedic, ac un afrlladen, w Ex 29,2 Esa 66,20
ac ai gossododd ar y gwêr, ac ar yr yscwyddoc
ddehau:
27 Ac a roddes y cwbl ar gledrau dwylo Aaron,
ac ar gledrau dwylo ei feibion, ac ai [x] cwhwfan- x Ex. 29,
odd hwynt yn offrwm cwhwfan ger bron yr Ar- 24
glwydd.
28 Yna y cymmerth Moses hwynt oddi ar gle-
drau eu dwylo hwynt, ac ai llosgodd ar yr allor
yn offrwm poeth: dymma gyssegriadau o arogl
esmwyth, dymma aberth tanllyd i'r Arglwydd.
29 [y] Cymmerodd Moses y * barwyden hefyd, ac y Pen. 7, 3, 33
ai cwhwfanodd yn offrwm cwhwfan ger bron yr * Ex. 29,
Arglwydd: rhan Moses o hwrdd y cyssegriadau 26
oedd hi, fel y gorchymynnase yr Arglwydd wrth
Moses.
30 A chymmerodd Moses o [z] olew'r enneiniad z Ex. 29,
ac o'r gwaed'r hwn [oedd] ar yr allor, ac a daenell- 20 Sal. 153,2
odd ar Aaron [ac] ar ei wiscoedd, ar ei feibion
hefyd, ac ar wiscoedd ei feibion yng-hyd ag ef: ac
efe a gyssegrodd Aaron, ai wisgoedd, ai feibion
hefyd, a gwiscoedd ei feibion ynghyd ag ef.
31 A dywedodd Moses wrth Aaron, ac wrth ei
feibion, berrwch y cig [wrth] [a] ddrws pabell y cy- a Ex 29,31
farfod, ac * yno bwyttewch ef, a'r bara hefyd yr 32 * Ex. 29,
hwn [sydd] yng-hawell y cyssegriadau, megis y 32
gorchymynnais gan ddywedyd, Aaron ai feibion Luc 10,16
ai bwyttu ef.
32 [b] A'r gweddill o'r cig, ac o'r bara a losgwch b Ex 12,10
mewn tân. a 29, 34
33 Ac nac ewch [c] saith niwrnod o ddrws pabell c Ex. 29,
y cyfarfod, hyd y dydd y cyflawner dyddiau 35 Heb. 3,
eich cyssegriadau: o herwydd saith niwrnod y 23, 24 1 Sam. 1,
bydd efe yn eich cyssegru chwi. 23
34 Megis y gwnaeth efe heddyw, y gorchymyn- Pen. 4,6,
nodd yr Arglwydd wneuthur, i wneuthur [d] iawn d Heb 9,7
drossoch. a 7, 16

e Pen. 12, 4 35 [e] Ac arhoswch [wrth] ddrws pabell y cyfar-
Ios. 5, 8 fod saith niwrnod ddydd a nos, a chedwch wil-
1 Sam. 22, 5 iadwriaeth yr Arglwydd, fel na byddoch feirw:
Luc 2, 8 Num. 9, canys fel hyn i'm gorchymynnwyd.
19. a 3 7, 8 f Mal. 2, 36 A gwnaeth Aaron ai feibion yr [f] holl bethau y
5, 6 rhai a orchymynnodd yr Arglwydd trwy law
Moses."

## PEN. IX.

*Aaron yn dechreu offrymmu. 22 Ac yn benditkio y bobl. 23 Gogoniant Duw yn ymddangos.*

g Pen. 8, 33 "YNA y bu ar yr [g] wythfed dydd i Moses
1 Pedr 2, 5 alw am Aaron ac am ei feibion, ac am hen-
Pen. 4, 15 uriaid Israel.
h Pen. 8, 2 2 [h] Ac efe a ddywedodd wrth Aaron, Cymmer
2 Cor. 5, 21 it lô ieuangc yn aberth tros bechod, a hwrdd yn
Pen. 1, 3 boeth offrwm o rai perffaith-gwbl, a dwg [hwynt]
ger bron yr Arglwydd.
3 Llefara hefyd wrth feibion Israel, gan ddywe-
dyd, Cymmerwch lwdn gafr gwryw, yn aberth
tros bechod, a llô, ac oen blwyddiaid perffaith-
gwbl yn boeth offrwm.
i Pen. 2, 1 4 [i] Ac eidion, a hwrdd yn aberth hedd, i aberthu
1 Ioan 3, 2, 3 ger bron yr Arglwydd: a bwyd offrwm wedi ei
Dat. 14, 8 gymmyscu trwy olew: o herwydd heddyw yr ym-
ddengys yr Arglwydd i chwi.
5 A dugasant yr hyn a orchymynnodd Moses
ger bron pabell y cyfarfod: a'r holl gynnulleidfa a
ddaethant ac a safasant ger bron yr Arglwydd.
k Ex. 24, 6 [k] A dywedodd Moses, Gwnewch y peth hynn,
16 Ezec. 43, yr hwn a orchymynnodd yr Arglwydd: ac ym-
2. 1 Ioan 3, 1, 2 ddengys gogoniant yr Arglwydd i chwi.
Ex. 40, 34, 35 7 [l] Dywedodd Moses hefyd wrth Aaron, Dos at
l Pen. 8, 10 yr allor ac abertha dy aberth tros bechod, a'th
Heb. 5, 4 Pen. 8, 34 boeth offrwm, a gwna iawn * drosot dy hun, a
* Heb. 9, thros y bobl, ac abertha offrwm y bobl, a gwna
7. a 5, 3 a 7, 27, 28 iawn drostynt, fel y gorchymynnodd yr Arglwydd.
8 Yna y nessaodd Aaron at yr allor, ac a ladd-
odd lô yr aberth tros bechod, yr hwn [oedd] trosto
ef ei hun.
m Pen. 4, 9 [m] A meibion Aaron a ddugasant y gwaed atto,
5, 6, 7. a 4, ac efe a wlychodd ei fŷs yn y gwaed, ac ai gossod-
13, 17, 25 odd ar gyrn yr allor, ac a dywalltodd y gwaed
[arall] wrth waelod yr allor.
n Pen 4, 8 10 [n] Ond efe a losgodd ar yr allor o'r aberth tros
9, 10 1 Pedr. 3, bechod y gwêr a'r arennau, a rhwyden yr afu, fel
18 y gorchymynnase yr Arglwydd wrth Moses.
Esa. 4, 4 1 Thes. 5, 11 [o] A'r cig, a'r croen a losgodd efe mewn tân o'r
23 o Pen. 4, tu allan i'r gwerssyll.
11 * Lef. 1, 5 12 Ac efe * a laddodd y poeth offrwm, a meib-
ion Aaron a ddugasant y gwaed atto, ac efe ai taen-
ellodd ar yr allor o amgylch.
p Pen. 1, 6, 8 13 [p] A dugasant y poeth offrwm atto'n ddarnau
ai ben hefyd: ac efe ai llosgodd hwynt ar yr allor.
q Pen. 1, 9 14 [q] Ac efe a olchodd y perfedd a'r traed, ac ai
llosgodd hwynt yng-hyd a'r offrwm poeth ar yr
allor.
r Heb 9, 10 2 Cor. 5, 21 15 [r] Hefyd efe a ddug offrwm y bobl, ac a gym-
merodd fwch yr aberth tros bechod yr hwn [oedd]
tros y bobl, ac ai lladdodd, ac ai hoffrymmodd
tros bechod, fel y cyntaf.
16 [s] Ac efe a ddug y poeth offrwm, ac ai hoffrym- s Pen. 1, 10
modd yn ol y ddefod.
17 [t] Felly efe a ddug y bwyd offrwm ac a lan- t Pen. 2, 1 Ex. 29,
wodd ei law o honaw, ac [ai] llosgodd ar yr allor 38, 39
heb law poeth offrwm y boreu.
18 [u] Ac efe a laddodd ŷch a hwrdd yr aberth u Pen. 3, 1
hedd, yr hwn [oedd] tros y bobl: a meibion Aaron
a ddugasant y gwaed atto, ac efe ai taenellodd ef
ar yr allor o amgylch.
19 [v] [Cymmerasant] hefyd o'r ŷch y gwêr: ac o'r v Pen. 3, 9
hwrdd, y gloreu a'r weren fol, a'r arennau, a
rhwyden yr afu.
20 [w] A gosodasant y gwêr ar y parwydennau, ac w Pen. 4, 8
efe a losgodd y gwêr ar yr allor.
21 [x] Y parwydennau hefyd, a'r yscwyddoc dde- x Pen. 7,
hau a gwhwfanodd Aaron yn offrwm cwhwfan 30
ger bron yr Arglwydd fel y gorchymynnodd
Moses.
22 [y] A chododd Aaron ei law ar y bobl, ac ai y Esay. 66,
bendithiodd, ac a ddaeth i wared o wneuthur yr 22 1 Cron.
aberth tros bechod, a'r poeth offrwm, a'r aberth 23, 13 Ex. 39, 43,
hedd. Adn. 7
23 [z] Yna y daeth Moses ac Aaron i babell y z Ex. 37, 8 Sal. 118,
cyfarfod, ac aethant allan, ac a fendithiasant y 26 Ex. 16, 10
bobl, a gogoniant yr Arglwydd a ymddangosodd
i'r holl bobl.
24 [a] Ac * aeth tân allan oddi ger bron yr Ar- a 1 Sam.
glwydd, ac a yssodd y poeth offrwm, a'r gwêr ar 3, 15 Sal. 20, 3
yr allor: a gwelodd yr holl bobl, a gwaeddasant, *2 Cron. 7,
a chwympasant ar eu hwynebau." 1. 2 Mac. 2, 10

## PEN. X.

1 *Pechod Nadab ac Abihu, ei marwolaeth.* 9 *Gwaherdd gwin i'r offeiriaid.* 12 *Rhan yr offeiriaid o'r aberthau.*

"YNA [b] Nadab, ac Abihu meibion Aaron a b Ex. 6, 23 a 27, 3
gymmerasant bob un ei thusser, ac a rodd- Num. 16,
asant dân ynddynt, ac a osodasant arogl-darth ar 17 Pen. 1, 8
hynny, ac a offrymmasant ger bron yr Arglwydd Dat. 8, 5 * Ex. 30, 9
dân dieithr, yr hwn ni orchymmynnase efe iddynt.
2 [c] A daeth tân allan oddi ger bron yr Arglwydd, c Pen. 9, 24
ac ai difaodd hwynt: a buant feirw ger bron yr Heb. 12,
Arglwydd. 29 Pen. 1, 9
3 [d] A dywedodd Moses wrth Aaron, Dyna'r hyn d Ezec. 28, 41
a lefarodd yr Arglwydd gan ddywedyd, Mi a sanc- a 42, 15 2 Thes. 1,
teiddir yn y rhai a nessânt attaf, a cher bron yr 10
holl bobl i'm gogoneddir: A thewi a wnaeth Aaron. Sal. 39, 9
4 [e] Yna y galwodd Moses am Misael ac Elsaph- e Ex. 6,
an, meibion Oziel ewythr Aaron frawd ei dad, a dy- 18, 20
wedodd wrthynt, Deuwch yn nês, dygwch eich Luc 7, 12
brodyr oddi ger bron y cyssegr i'r tu allan i'r
gwersyll.
5 A nessau a wnaethant ai dwyn hwynt yn eu
peisiau i'r tu allan i'r gwerssyll fel y llefarase f Num. 3,
Moses. 18 Ios. 7, 19
6 [f] A dywedodd Moses wrth Aaron, ac wrth Salm 119, 120

Eleazar,ac wrth Ithamar ei feibion, na ddiosg-
wch oddi am eich pennau, ac na rwygwch eich
gwiscoedd, rhac iwch feirw, a sorri o honaw ef
wrth yr holl gynnulleidfa: ond ŵyled eich bro-
dyr chwi holl dŷ Israel, am y llosciad, yr hwn
a losgodd yr Arglwydd.
g Pen. 8, 7 [g] Ac nac ewch allan o ddrws pabell y cyfar-
2, 30 fod, rhac iwch farw, o herwydd [bod] olew en-
einiad yr Arglwydd arnoch chwi: A gwnaeth-
ant fel y llefarodd Moses.
8 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Aaron,
gan ddywedyd,
9 Gwîn a diod gadarn nac ŷf di, na'th feibion
gyd a thi, pan ddeloch i babell y cyfarfod, fel na
byddoch feirw: deddf dragywyddol drwy eich
h Ezec. cenhedlaethau [fydd hynn].
44, 23 10 [h] A [hynny] er gwahanu rhwng cyssegredic
Ier. 15,19 a di-gyssegredic,a rhwng aflan a glân:
Ezec. 22, 26 11 [i] Ac i ddyscu i feibion Israel yr holl ddeddf-
Pen. 20, 25 au y rhai a lefarodd yr Arglwydd wrthynt, drwy
i Mal. 2,7 Mat. 23, law Moses.
20 12 [j] A llefarodd Moses wrth Aaron, ac wrth
j Pen. 9,17 Mal. 1,7 Eleazar ac wrth Ithamar, y rhan arall oi feib-
ion ef, Cymmerwch y bwyd offrwm yr hwn sydd
yng-weddill o ebyrth tanllyd yr Arglwydd, a
bwyttewch yn groiw ger llaw'r allor: o herwydd
sancteidd-beth cyssegredic yw.
13 A bwyttewch ef yn y lle sanctaidd o her-
wydd dy ran di, a rhan dy feibion di o ebyrth
tanllyd yr Arglwydd yw hynn: canys fel hynn
i'm gorchymynnwyd.
14 Parwyden yr offrwm cwhwfan hefyd, ac
ysgwyddoc yr offrwm derchafel a fwyttewch
mewn lle glân: ty di, a'th feibion, a'th ferched,
yng-hyd a thi: O herwydd hwynt a roddwyd yn
rhan i ti, ac yn rhan i'th feibion di o ebyrth hedd
meibion Israel.
15 Yscwyddoc yr offrwm derchafel, a phar-
wyden yr offrwm cwhwfan a ddygant yng-hyd
k Pen. 7, 34 ac ebyrth tanllyd o'r gwêr, i gwhwfan offrwm
cwhwfan ger bron yr Arglwydd, a byddet i ti,
l Pen. 9, ac i'th blant gyda thi yn [k] rhan dragywyddol:
15 fel y gorchymynnodd yr Arglwydd.
16 [l] A Moses a geisiodd yn ddyfal fwch yr
aberth tros bechod, ac wele ef wedi ei losci, ac
efe a ddigiodd wrth Eleazar, ac wrth Ithamar
m 1 Petr y rhan arall o feibion Aaron gan ddywedyd,
2, 24 Ioan 1,29 17 [m] Pa ham na fwyttawsoch yr aberth tros be-
Ex. 11,38 a 33, 6 chod yn y lle sanctaidd: o herwydd sancteidd-
Pen. 20, 19 beth cyssegredic [yw] efe, ac efe a'i rhoddodd
i chwi, i ddwyn anwiredd y gynnulleidfa, gan
wneuthur iawn trostynt ger bron yr Arglwydd.
n Pen. 4, 10, 12 18 [n] Wele ni ddygwyd ei waed ef i fewn y cys-
a 6, 30 a 16, 27 segr: ei fwytta a ddylasech yn y cyssegr, fel y
gorchymynnais.
o Deut. 12, 14 19 [o] A dywedodd Aaron wrth Moses, Wele
Hos. 9, 4 heddyw yr offrymmasant eu haberth tros bech-
od, ai poeth offrwm ger bron yr Arglwydd: ac
fel hyn y digwyddodd i mi, am hynny os bwyt-
tawn aberth tros bechod heddyw, a fydde hyn-
ny dda yng-olwg yr Arglwydd? p Matth 12, 3
20 [p] Yna y gwrandawodd Moses, ac y bu 2Cron. 30
fodlon." 18, 19, 20 Heb. 7,18

## PEN. XI.

*Yr anifeiliaid, y pyscod, a'r adar sy lân neu aflan.*

"A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo- q 2Cron.
ses ac Aaron,[q] gan ddywedyd wrthynt: 29. 5
2 [r] Lleferwch wrth feibion Israel gan ddywed- r Sal. 147.
yd, [*] Dymma y bwyst-fil yr hwn a [s] fwyttewch 19, 20 *Act. 10,
o bôb anifail yr hwn [sydd] ar y ddaiar. 12. Deut
3 [t] Pob anifail yn cnoi ei gîl, a hollto'r ewin, 10. 14 Gen 7, 9
ac a fforchogo hollt yr ewinedd, hwnnw a fwyt- s Esa 11,6 t Rhuf 2,
tewch. 18. Salm 1. 2
4 [u] Ond hynn ni fwyttewch o'r rhai a gnoant u Esa 21,
eu cil, ac o'r rhai a holltant yr ewin, [sef] y Ca- 7
mel, er ei fod yn cnoi [ei] gil,am nad yw yn holl-
ti'r ewin, aflan [fydd] efe i chwi.
5 A'r [v] gwiningen am ei bod yn cnoi [ei] chil, v Diar. 30 26
ac heb fforchogi'r ewin, aflan yw i chwi. w Dat 21 8
6 A'r [w] ysgyfarnog am ei bod yn cnoi [ei] chil,
ac heb fforchogi'r ewin, aflan yw i chwi.
7 A'r llwdn hŵch am ei fod yn hollti'r ewin ac
yn fforchogi fforchedd yr ewin, ac yntef heb
gnoi [ei] gil: aflan yw efe i chwi. x 2Pedr 2 22
8 [x] Na fwyttewch oi cig hwynt, ac na chyffyr- 2 Cor 6. 17
ddwch ai burgyn hwynt: aflan ydynt i chwi.
9 [y] Hynn a fwyttewch o bob dim a'r sydd yn y Act 20
y dyfroedd: pob peth yr hwn [y mae] iddo ascell, 21
a chenn, yn y dyfroedd, yn y moroedd ac yn yr
afonydd, y rhai hynny a fwyttewch. z Deut 14 10
10 [z] A phob dim nid [oes] iddo ascell, a chenn
yn y moroedd, ac yn yr afonydd: o bob dim a
ymlusco yn y dyfroedd, ac o bob peth byw y
rhai [fyddant] yn y dyfroedd byddant ffiaidd
gennych.
11 [a] Byddant ffiaidd gennych: na fwyttewch a 1Cor 15
oi cig hwynt, a ffieiddiwch eu burgyn hwynt. 39
12 Yr hynn oll yn y dyfroedd ni [byddo] es-
cyll a chenn iddo: ffieidd-beth yw i chwi. b Job 39.
13 [b] A'r rhai hyn a ffieiddiwch chwi o'r adar, 27
na fwyttewch [hwynt] ffieidd-dra ydynt: sef Deut 14 12. Ier. 4
yr eryr a'r wydd-walch, a'r for-wennol. 22
14 [c] A'r fwltwr, a'r barcyd, yn ei ryw. c Rhuf. 3
15 [d] Pob cig-fran yn ei rhyw. 15 Iob 28 7
16 [e] A chyw'r estris, a'r frân nos, a'r gôg, a'r d Iob 38,
gwalch yn ei rhyw. 41. e Iob 30,
17 [f] Ac aderyn y corph,a'r fulfran,a'r ddylluan. 29. Eph. 5,11
18 [g] A'r gocfran, a'r pelican, a'r biogen. Hos. 7,11
19 [h] A'r ciconia, a'r crŷr yn ei rhyw, a'r gorn- Iob 39,26 f Sal 102,6
chwigl, a'r stlym. Hab 1,14
20 Pob ehediad a ymlysco [ac] a gerddo ar Eph 5,11 g Mat. 23,
bedwar-troed ffieidd-dra yw efe i chwi. 23. Sal. 102,6
21 Ond hynn a fwyttewch o bob ehediad a Mat. 10,
ymlysgo, ac a gerddo ar bedwar [troed] yr hwn 37 h Job 39,3 Eph. 4,34

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,
y Pen 17, 15 2 y Dywet hefyd wrth feibion Israel, Pob un o
a Pen 18, 21 feibion Israel, neu o'r dieithr a ymdeithio yn
Ier 19, 5 Israel yr hwn a * roddo oi hâd i Moloch a leddir
a 38, 25 yn farw, w pobl y tîr ai llabyddiant ef a cherric.
w Adn 9, 10, 11, 12 3 x A mi a roddaf fy wyneb yn erbyn y dyn
Deu. 17, 6 hwnnw, ac ai torraf o fysc ei bobl: am iddo
x Pen 17, 1 roddi oi hâd i Moloch, i aflanhau fyng-hyssegr,
2 Cor 6, 16 Pen 18, 21 ac i halogi fy enw sanctaidd.
y 1 Bren 20, 42 4 y Ac os pobl y wlâd gan guddio a guddiant
eu llygaid oddi wrth y dyn hwnnw (pan roddo
efe ei hâd i Moloch) rhac ei ladd ef;
z Galar 4, 16 5 z Yna y gosodaf fy wyneb yn erbyn y dyn
Ex. 20, 5 hwnnw ac yn erbyn ei dylwyth, a thorraf ym-
Ier 32, 28 maith ef, a phawb a ddilynant ei butteindra ef,
Hos 2, 18 gan butteinio yn ol Moloch, o fysc eu pobl.
a Pen 19, 31 6 a A'r dŷn yr hwn a edrycho am ddewiniaid,
ac am frud-wŷr, gan butteinio ar eu hol hwynt,
rhoddaf fy wyneb yn erbyn y dŷn hwnnw hefyd,
a thorraf ef ymmaith o fysc ei bobl.
* Pen 19, 2 7 Ymsancteiddiwch chwithau, * a byddwch
a 11, 44 sanctaidd, canys myfi [ydwyf] yr Arglwydd
1 Pedr 1, 16 eich Duw chwi.
b Ezec. 37, 24 8 b Cedwch hefyd fy neddfau, a gwnewch
hwynt, myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich sanc-
teiddudd.
* Ex. 21, 17 9 Os bydd neb a * ddirmygo ei dad c neu ei
Diar. 20, 20 fam, lladder ef yn farw: ei dâd neu ei fam a
Mat. 15, 4 ddirmygodd efe, ei waed [fydd] arno ei hun.
Eccl. 3, 2
c Ex 21, 16 10 d A'r gŵr yr hwn a odinebo gyd a gwraig
2 Sam. 1, 16 gŵr [arall,] sef yr hwn a odinebo gyd a gwraig
d Ioan 8, 4, 5 ei gymmydog, lladder yn farw y godinebwr a'r
odineb-wraig.
11 A'r gŵr yr hwn a orweddo gyd a gwraig ei
* Pen 18, 8 dad, * a noethodd noethni ei dad, lladder yn
feirw hwynt ill dau, eu gwaed [fydd] arnynt eu
hunain.
e Gen 19, 33 12 e Am y gwr yr hwn a * orweddo yng-hyd ai
* Pen 18, 15 waudd lladder yn feirw hwynt ill dau, cymysg-
edd a wnaethant, eu gwaed [fydd] arnynt eu
hunain.
† Pen. 18, 22 13 Am y gŵr yr hwn a † orweddo gyd a gŵr,
Deut. 23, 25 fel gorwedd gyd a gwraig, ffieidd-dra a wnaeth-
ant ill dau, lladder hwynt yn feirw, eu gwaed
[fydd] arnynt eu hunain.
f Pen 18, 17, 23 14 f Am y gŵr a gymmero wraig, a'i mam,
scelerder [yw] hynny: lloscant ef a hwyntau yn
tân, ac na fydded scelerder yn eich mysc.
† Deut 27, 21 15 * A lladder yn farw y gŵr yr hwn a ymgy-
dio ag anifail; lladdant hefyd yr anifail.
16 A'r wraig yr hon a el at un anifail i orwedd
tano, lladd di y wraig a'r anifail hefyd, lladder
hwynt yn feirw; eu gwaed [fydd] arnynt eu hunain.
17 g A'r gŵr yr hwn a gymmero ei chwaer, me-
g 2 Sam. 13, 12 rch ei dad, neu ferch ei fam, ac efe yn gweled ei
Pen 18, 9 noethni hi, a hithe'n gweled ei noethni yntef, gw-
aradwydd [yw] hynny, torrer hwythau ymmaith
yng-olwg meibion eu pobl: noethni ei chwaer a
noethodd efe, efe a ddwg ei anwiredd.
18 A'r gŵr h yr hwn a orweddo gyda gwraig h Pen 18, 2, a 15, 19
glaf oi misglwyf, ac a noetha ei noethni hi, ei di- Luc 12, 7
ferlif hi a ddatcuddiodd efe, a hithe a ddatcudd- Marc 5, 29
iodd ddiferlif ei gwaed ei hun; am hynny torrer Luc 8, 44 Pen 15, 31
hwynt ill dau o fysg eu pobl.
19 Ac na noetha noethni chwaer dy fam, neu
chwaer dy dad, o herwydd ei gyfnessaf ei hun y
mae[y cyfryw]yn ei noethi: dygant eu barwiredd.
20 i A'r gŵr a orweddo gyda gwraig ei ewythr i Pen 18, 14
frawd ei dad, a noetha noethni ei ewythr; eu pech-
od a ddygant, byddant feirw yn ddi-blant.
21 k A'r gŵr yr hwn a gymmero wraig ei frawd k Deut. 15, 19, 20
(yscariaeth [yw] hynny) a noethodd noethni ei a 25, 5
frawd, di-blant fyddant.
22 Am hynny † cedwch fy holl ddeddfau, a'm † Pen 18, 25—28
holl farnedigaethau, a gwnewch hwynt; fel na
chwdo l y wlad chwi, yr hon yr ydwyf yn eich l Deut 3, 16
dwyn iddi i breswylio ynddi. Esa 1, 19, 14
23 Ac na rodiwch yn neddfau y genedl yr hon Amos 6, 8
yr ydwyf yn ei bwrw allan o'ch blaen chwi, o Zec 11, 8
herwydd yr holl bethau hynn a wnaethant, † am Ier 14, 19 Diar 13, 5
hynny y ffieiddiais hwynt. † Deut 9, 5
24 m Ac wrthych y dywedais, Chwi a etifedd- m Ex 3, 8
wch eu tir hwynt, mi ai rhoddaf i chwi iw etif- 1 Bren 8, 53
eddu: gwlâd yn llifeirio o laeth a mêl: myfi Ex 19, 5
[ydwyf] yr Arglwydd eich Duw chwi yr hwn Deut 7, 6
a'ch neillduais chwi oddi wrth y bobloedd.
25 † Rhoddwch chwithau wahaniaeth rhwng † Pen 11, 2
yr anifail glân ac aflan, n a rhwng yr aderyn af- Deut 14, 4
lan a'r glân, ac na wnewch eich eneidiau yn n Rhuf 14, 14
ffiaidd o herwydd anifail, neu o herwydd ader- Pen 11, 43
yn, neu o herwydd dim oll a sathro'r ddaiar,
yr hwn a neillduais i chwi i'w gyfrif yn aflan.
26 o Byddwch chwithau sanctaidd i mi: o o Pen 19, 2
herwydd myfi'r Arglwydd [ydwyf] sanctaidd, Tit 2, 14
ac a'ch neillduais chwi oddiwrth y bobloedd i p Pen 19, 31
fod yn eiddo fi.
27 p Yn ŵr neu yn wraig os bydd ynddynt
† yspryd dewiniaeth neu frud, hwynt a leddir yn † Deut 18, 10
farw, â cherric y llabyddiant hwynt, eu gwaed 1 Sam. 28, 9
[fydd] arnynt eu hunain.

## PEN. XXI.

*Cyfraith am yr offeiriaid.*

A q DYWEDODD yr Arglwydd wrth Mo- q Mal. 2, 1, 4
ses, Llefara wrth yr offeiriaid meibion Aa- Num. 19,
ron, a dywet wrthynt: Nac ymhaloged [neb] 14, 16
wrth un marw ym mysc ei bobl. Num. 6, 6
2 r Ond wrth ei gyfnesaf agos iddo: wrth ei r Pen. 18, 6
fam, wrth ei dad, ac wrth ei fab, ac wrth ei
ferch, ac wrth ei frawd.
3 s Ac wrth ei chwaer o forwyn agos iddo, yr hon s Ezec. 44, 25
ni fu eiddo gŵr; wrth honno yr ymhaloga efe.
4 t Nac ymhaloged [wrth] bennaeth ym mysc t Ex 21, 16
ei bobl, i'w aflanhau ei hun.

u Deut. 14, 1 5 [u] Na † wnant foelni ar eu pennau, ac nac
Ezec. 7, 18 eilliant gyrrau eu barfau, ac na rwygant [v] rwyg-
Ier. 16, 6 iad ar eu cnawd.
† Pen. 19, 27 6 [v]Sanctaidd fyddant i'w Duw, ac na halogant
v Pen. 19, 28 euw ei Duw; o herwydd offrymmu y maent
1 Thes. 4, 13 ebyrth tanllyd yr Arglwydd, bara eu Duw, am
w Pen. 18, 21 hynny byddant sanctaidd.
Pen. 3, 11 7 Na † chymmerant buttain-wraig neu un
Adn. 8, 21, 22 halogedig yn wraig, ac na chymmerant wraig
x 1 Tim. 3, 11 wedi [x] yscar oddiwrth ei gŵr, o herwydd sanct-
x Deut. 24, 1 aidd yw efe i'w Dduw.
8 [y]A chyfrif di ef yn sanctaidd, o herwydd
Ezec. 44, 22 bara dy Dduw di y mae efe yn ei offrymmu,
y Pen. 20, 8 bydded sanctaidd it, o herwydd sanctaidd [yd-
wyf] fi 'r Arglwydd eich sancteiddudd.
9 A phan ddechreuo merch un offeiriad but-
teinio, halogi ei thad y mae, llosger hi mewn
tân.
z 2 Bren. 22, 10 10 [z]A'r offeiriad mwyaf oi frodyr, yr hwn y
Pen. 10, 6 tywalldwyd olew 'r enneiniad ar ei ben, ac a
gyssegrodd ei law i wisco y gwiscoedd, na ddi-
osced oddi am ei ben, ac na rwyged ei ddilled.
a Num. 19, 14 11 [a] Ac na ddeued at gorph un marw, nac ym-
haloged wrth ei dad, nac wrth ei fam.
b Ex. 29, 6 12 [b] Ac nac aed allan o'r cyssegr fel na halogo
gyssegr ei Dduw, am [fod] coron olew ennein-
iad ei Dduw arno ef: myfi [ydwyf] yr Arglwydd.
c 1 Cor. 11, 2 13 [c] A chymmered efe wraig yn ei morwyndod.
Dat 14, 4 14 [d] Na phrioded efe y rhai hynn, [sef] gwraig
d Ezec. 44, 22 weddw, na gwraig wedi ysgar, na phuttain halog-
edic: onid cymmered forwyn oi bobl ei hun yn
wraig.
15 Ac na haloged ei hâd ym mysc ei bobl: ca-
nys myfi [ydwyf] yr Arglwydd ei sancteiddudd ef.
16 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan
ddywedyd,
e Tit. 1, 6 17 [e]Llefara wrth Aaron, gan ddywedyd, Na nes-
saed un o'th hâd di drwy eu hoesoedd yr hwn y
byddo anaf arno, i offrymmu bara ei Dduw ef.
f Mal. 2, 7 18 [f] Canys ni chaiff un gŵr yr hwn y byddo
Esa 56, 10 Gal. 2, 14 anaf arno nessau: y gŵr dall, neu yr cloff, neu'r
1 Bren. 18, 18 rhy fyrr, neu rhy hir [ei aelod.]
Mat. 16, 23 19 [g] Neu'r gŵr yr hwn y byddo iddo droed
Phil. 1, 6 twnn, neu law donn.
Tit. 1, 10 g Gal. 1, 16 20 [h] Neu a fyddo yn gefn-grwm, neu a magl,
1 Thes. 3, 8 neu byssen ar ei lygad, neu'n grachlyd, neu yn
h 1 Tim. 3, 6 glafrllyd, neu yn hittrwm.
Mat. 7, 3, 4 21 [i] Na nessaed un gŵr o hâd Aaron yr offeir-
iad yr hwn y byddo anaf arnoi offrymmu ebyrth
2 Tim. 2, 17 tanllyd yr Arglwydd: anaf sydd arno, na nes-
2 Pedr 2, 12 saed i offrymmu bara ei Dduw ef.
i 1 Tim. 3, 2, 3 22 Bara ei Dduw ef o'r [pethau] sanctaidd
Heb. 9, 14 cyssegredic, ac o'r [pethau] cyssegredic a gaiff
efe ei fwytta.
j Heb. 9, 6 23 [j]Etto na ddeued at y wahan-lenn, ac na
nessaed at yr allor, am [fod] anaf arno, ac na
haloged fyng-hyssegr: canys myfi [ydwyf] yr
Arglwydd eu sancteiddudd hwynt.
24 A llefarodd Moses [hynny] wrth Aaron, ac
wrth ei feibion, ac wrth holl feibion Israel."

## PEN. XXII.

*Pwy ni chaent fwytta o'r offrymmau; pa fodd, pa beth, a'r amser, yr offrymmyd.*

"A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,
2 [k]Llefara wrth Aaron ac wrth ei feibion, am k Pen 15, 31
iddynt ymneillduo oddi wrth bethau cyssegre- Pen 18, 21
dic meibion Israel, ac na halogant fy enw Ex 13, 2
sanctaidd, yn y pethau y rhai y maent hwy yn Deut. 15, 19
eu cyssegru i mi: myfi [ydwyf] yr Arglwydd.
3 [l]Dywet wrthynt, Pwy bynnac o'th holl hil- l Pen 7, 20
iogaeth trwy eich oesoedd a nessao at y pethau Pen. 7, 21
cyssegredic y rhai a gyssegro meibion Israel i'r
Arglwydd ai aflendid arno, torrir ymmaith yr
enaid hwnnw oddi ger fy mron: myfi [ydwyf]
yr Arglwydd.
4 Na fwyttaed neb o hiliogaeth Aaron o'r
pethau cyssegredic, ac ynte yn wahan-glwyfus
neu yn ddiferllyd, hyd oni lanhaer ef: a'r hwn a
gyffyrddo wrth ddim wedi ei halogi wrth un
marw, neu wrth yr hwn yr êl oddi wrtho [m] ddes- m Pen 15, 16
cynniad hâd;
5 [n] Neu 'r un a gyffyrddo ag un ymlusciad yr n Pen 11, 31
hwn yr ymhalogo efe wrtho, neu wrth ddyn yr
hwn yr ymhaloga efe wrtho, yn ei holl aflendid.
6 [o]A'r dyn yr hwn a gyffyrddo ag ef a fydd aflan o Pen 15, 5
hyd yr hwyr, ac na fwyttaed o'r pethau cyssegre- 1 Cor. 6, 11
dic, oddieithr iddo olchi ei gnawd mewn dwfr. Mal 3, 2, 3
7 [p] A phan fachludo'r haul glân fydd, ac wedi p Num 18, 11
hynny bwyttaed o'r pethau cyssegredic, canys Pen. 3, 11
ei fwyd ef [yw] hwn.
8 [q] Ac † na fwyttaed o anifail wedi marw ei q Pen 17, 15
hun, neu wedi ei sclyfaethu, i fod yn aflan oi † Ex. 22, 31
blegit; myfi [ydwyf] yr Arglwydd. Ezec 44, 31
9 [r] Ond cadwant fy neddf i, ac na ddygant be- r Pen 19, 17
chod [bob un] arno ei hun, i farw o'i blegit pan Num. 18, 32
halogant hi: myfi [ydwyf] yr Arglwydd eu sanc- Pen 10, 1, 2
teiddudd hwynt.
10 [s] Ac na fwytaed un dieithr-ddyn beth cysse- s Mat. 12, 4
gredic: alltud yr offeiriad, a'r gwas cyflog ni
chaiff fwyta y peth cyssegredic.
11 [t] Ond pan brynno'r offeiriad ddyn yn werth t 1 Cor. 6, 20
ei arian, hwnnw a gaiff fwyta o honaw, a'r hwn 1 Pedr 1, 18
a aner [yn] ei dŷ ef: y rhai hynn a gant fwytta oi
fara ef.
12 [u]A merch yr offeiriad pan fyddo hi eiddo gŵr u Num 18, 11
dieithr ni chaiff hi fwytta o offrwm cyssegredic.
13 [v]Ond merch yr offeiriad os gweddw fydd v Eph. 2, 11, 12, 13
hi, neu wedi yscar ac heb blant iddi, ac wedi
dychwelyd i dŷ ei thad a gaiff fwytta o fara ei
thad, † megis yn ei hieuenctyd; ac ni chaiff neb † Pen. 10, 14, a 11, 14
dieithr fwytta o honaw.
14 [w]A phan fwyty un beth cyssegredic mewn w Pen. 5, 15.
anwybod, yna chwaneged ei bummed rann atto,

a rhodded y peth cyssegredic i'r offeiriad.
15 Felly na halogant gyssegredic [roddion] meibion Israel y rhai a offrymmant i'r Arglwydd.
‡ymlwythant a chosp, Adn. 9, Pen. 5, 1 Act. 15, 9 2 Cor. 7, 1
16 Ac na ‡ wnant iddynt ddwyn cosp camwedd gan fwytta o honynt eu cyssegredic bethau hwynt: o herwydd myfi [ydwyf] yr Arglwydd eu sancteiddydd.
17 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd,
x Ier. 44, 25 Sal. 56, 12 Pen. 7, 16
18 ˣLlefara wrth Aaron, ac wrth ei feibion, ac wrth holl feibion Israel, a dywet wrthynt, Pwy bynnac o dŷ Israel ac o ddieithr yn Israel yr hwn a offrymmo ei offrwm yn ol ei holl addunedau, ac yn ol ei holl roddion gwir-fodd y rhai a offrymmant i'r Arglwydd yn boeth offrwm:
y Pen. 23, 11. a 1, 3. Pen. 3, 1 a 4, 32 Mal. 1, 14
19 ʸOffrymmwch wrth eich ewyllys eich hun un gwryw perffaith-gwbl o'r eidionnau, o'r defaid, neu o'r geifr.
Pen. 1, 14 z Mal. 1, 13 1 Pedr 1, 19
20 ᶻNac offrymmwch ddim yr hwn [y byddo] anaf arno, o herwydd ni bydd efe yn gymeradwy trosoch.
Gal. 6, 20 Sal. 51, 17 *Deut. 15, 21 a Pen. 3, 1 Num. 15, 3, 8 Pen. 27, 2 Pen. 1, 14 Ex. 12, 5
21 A * phan offrymmo ᵃ gŵr aberth hedd i'r Arglwydd gan wahanu adduned, neu rodd ewyllysgar o'r eidionnau, neu o'r praidd, bydded berffaith-gwbl, fel y byddo gymmeradwy: na fydded un anaf arno.
b Pen. 21, 18 Mal. 1, 13 Gen. 4, 3, 4
22 ᵇY dall neu y briwedic, neu yr anafus, neu y dafadennoc, neu yr crachlyd, neu'r clafrllyd, nac offrymmwch hwynt i'r Arglwydd, ac na roddwch aberth tanllyd o honynt ar allor yr Arglwydd.
*Pen 21, 18 Pen. 7, 16
23 A'r eidion, neu'r * ddafad a fyddo wedi estyn neu gwttogi [y gewyn iddo,] gellwch ei offrymmu yn offrwm gwir-fodd, ond tros adduned ni bydd cymmeradwy.
24 Nac offrymmwch ychwaith i'r Arglwydd un wedi llethu, neu yssigo, neu wedi tynnu'n rhydd, neu dorri ymmaith ei [eirin,] ac na wnewch yn eich tîr [y fath beth.]
o Ex. 12, 43 Ezra 6, 8, 9
25 ᵒ Ac na offrymmwch o law un dieithr fwyd eich Duw o'r holl bethau hynn: canys y mae eu llygredigaeth ynddynt, anaf [sydd] arnynt, ni byddant gymmeradwy trosoch.
Pen. 21, 6
26 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd,
p Ex. 22, 30
27 ᵖ Pan aner eidion, neu ddafad, neu afr, bydded saith niwrnod tann ei fam, a'r wythfed dydd, ac o hynny allan y bydd cymmeradwy yn offrwm o aberth tanllyd i'r Arglwydd.
Deut. 22
28 Ac * am fuwch neu ddafad, na leddwch hi a'i llwdn, yn yr un dydd.
Pen. 7,
29 ᑫ A phan aberthoch aberth diolch i'r Arglwydd, offrymmwch wrth eich ewyllys eich hunain.
Pen 7, 18
30 Y dydd hwn y bwytteir ef, * na weddillwch o honaw hyd y borau: myfi [ydwyf] yr Arglwydd.
31 Cedwch chwithau fyng-orchymynnion a gwnewch hwynt: myfi [ydwyf] yr Arglwydd.
32 ʳ Ac na halogwch fy enw sanctaidd, ond sancteiddier fi ym mysc meibion Israel; myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich sancteiddudd, r Pen 18, 21 Pen 10, 33 1 Cor. 1, 2 a 6, 11
33 Yr hwn a'ch dygais chwi allan o dir yr Aipht, i fod yn Dduw i chwi; myfi [ydwyf] yr Arglwydd. Ioan 17, 17

## PEN. XXIII.

*Gŵyliau y Sabboth, 5 Y Pasc, 6 Y bara croiw, 22 Y ffrwythau cyntaf, 16 Y Sul-gwynn, 24 Yr udcyrn, 34 A'r Pebyll.*

"LLEFARODD yr Arglwydd hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,
2 ˢ Llefara wrth feibion Israel, a dywet wrthynt, Gŵyliau'r Arglwydd y rhai a gyhoeddwch yn gymmanfeudd sanctaidd, [ydynt] fyng-ŵyliau hynn. s Num. 10, 8, 9 Col. 2, 16
3 Chwe diwrnod y gwneir gwaith, * a'r seithfed dydd y bydd Sabboth gorphwys-dra, [sef] cymmanfa sanctaidd, ᵗ dim gwaith nis gwnewch, Sabboth [yw] efe i'r Arglwydd, yn eich holl drig-fannau. *Ex. 20, 9 Esa. 58, 13 t Ex 12, 10 Esa. 58, 13 Ex. 23, 14
4 Dymma ŵyliau'r Arglwydd, y cymmanfeudd sanctaidd y rhai a gyhoeddwch yn eu tymmor.
5 ᵘ O fewn y mis cyntaf ar y pedwerydd [dydd] ar ddec o'r mis yn y cyfnos [y bydd] Pasc yr Arglwydd. u Ex 12, 2 Ex 12, 11 1 Cor. 5, 7, 8
6 * A'r pymthecfed dydd o'r mis hwnnw y bydd gŵyl y bara croiw i'r Arglwydd, saith niwrnod y bwyttewch fara croiw. *Ex. 12, 15 Num. 28, 17, 19
7 ᵛ Ar y dydd cyntaf y bydd iwch gymmanfa sanctaidd, dim caeth-waith ni chewch wneuthur. v Ex. 12, 16
8 ʷ Ond offrymmwch ebyrth tanllyd i'r Arglwydd saith niwrnod, ar y seithfed dydd [bydded] cymmanfa sanctaidd, na wnewch ddim caeth-waith. w Num. 28, 19 Pen. 1, 9
9 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd: Llefara wrth feibion Israel, a dywet wrthynt,
10 ˣPan ddeloch i'r tir yr hwn a roddaf i chwi, a medi o honoch ei gynhaiaf, yna dygwch yscub blaen-ffrwyth eich cynhaiaf at yr offeiriad. x Pen. 24, 8 Diar. 3, 9, 10 Col. 1, 15 1 Cor. 15, 20
11 ʸ Cwhwfaned yntef yr yscub ger bron yr Arglwydd, i'ch gwneuthur yn gymmeradwy; trannoeth wedi yr Sabboth y cwhwfana'r offeiriad hi. Ruth 2, 23 Ex. 31, 22 y Gen. 4, 45
12 ᶻAc offrymmwch ar y dydd y cwhwfaner yr yscub oen blwydd perffaith-gwbl yn boeth offrwm i'r Arglwydd. z Ex. 12, 5 1 Pedr 1, 19
13 ᵃAi fwyd offrwm [o] ddwy ddecfed rann [epha] o beilliad wedi ei gymmyscu mewn olew, yn aberth tanllyd i'r Arglwydd, yn arogl esmwyth: ai ddiod offrwm yn bedwerydd ran hin o win. a Ex. 29, 2 Ex 8, 21
14 ᵇ Bara hefyd nac ŷd wedi eu grassu na b Mat 6, 9, 10 Pen 2, 14

thwysennau ir, ni chewch fwytta byd gorph y
dydd hwnnw, nes dwyn o honoch offrwm eich
Duw, deddf dragywyddol drwy eich cenedl-
aethau yn eich holl drig-fannau [fydd hynn.]
c Pen 7, 30 15 c A chyfrifwch i chwi o drannoeth wedi'r
Sabboth, o'r dydd y dygoch yscub y cwhwfan,
saith Sabboth cyflawn fyddant.
d Act 2.1 Num 28, 26 16 d Hyd trannoeth wedi y seithfed Sabboth y
cyfrifwch ddeng-nhiwrnod a deugain, ac offrym-
mwch fwyd offrwm newydd i'r Arglwydd.
e Pen.4.11 Pen 7, 12 17 e A dygwch o'ch trigfannau ddwy dorth
gwhwfan, dwy ddecfed rann [epha] o beillied
fyddant, (yn lefeinllyd y pobir hwynt) yn flaen-
ffrwyth i'r Arglwydd.
f Num.28 27 Ex. 12,5. Num. 28, 5,7. 18 f Ac offrymmwch gyd a'r bara saith oen
blwyddiaid perffaith-gwbl, ac un bustach ieu-
angc, a dau hwrdd, poeth-offrwm i'r Arglwydd
fyddant hwynt, ai bwyd offrwm ai diod offrwm
[ac] aberth tanllyd o arogl esmwyth i'r Ar-
glwydd.
g Pen. 4, 14 19 g Yna offrymmwch un bwch geifr yn bech-
aberth, a dau oen blwyddiaid yn aberth hedd.
h Ex. 29, 24 Num. 18, 8,9 Pen.7,32 20 h A chwhwfaned yr offeiriad hwynt yng-
hyd a bara y blaen-ffrwyth, yn offrwm cwhwfan
ger bron yr Arglwydd, yng-hyd a'r ddau oen:
cyssegredic i'r Arglwydd [ac] eiddo yr offeiriad
fyddant.
i Deut. 16 12 Act 2,1,3 Ioan 4,13 Luc. 3,17 Eph. 1,3, 6 Rhuf.8,2 Gal 5, 2 21 i A chyhoeddwch, o fewn corph y dydd
hwnnw y bydd cymmanfa sanctaidd i chwi, dim
caeth-waith nis gwnewch: deddf dragywyddol
yn eich holl drig-fannau drwy eich cenhedlaeth-
au [fydd hynn.]
*Pen. 19, 9,19 Deut 16, 11.a 24,19 22 A phan fedoch gynhaiaf eich tir, na lwyr
feda gwrr dy faes, * ac na loffa dy gynhaiaf, gâd
hwynt i'r tlawd a'r dieithr: myfi [ydwyf] yr Ar-
glwydd eich Duw chwi.
23 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan
ddywedyd,
j 1 Bren. 8, 3 24 j Llefara wrth feibion Israel, gan ddywed-
yd, Ar y seithfed mis, ar y [dydd] cyntaf o'r mis
k Ezra 3, 11 1Cron 15, 28. Sal. 81,3 y bydd i chwi Sabboth, yn goffadwriaeth k can-
iad udcyrn, [a] chymmanfa sanctaidd.
Eph.5,14 25 Dim caeth-waith nis gwnewch, ond offrym-
mwch ebyrth tanllyd i'r Arglwydd.
Luc 4,19 Num 10,2 26 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan
Esa. 58,1 Marc 1,1, 12 ddywedyd,
l Pen. 6. 33 27 l Ond y decfed [dydd] o'r seithfed mis hwn,
*Pen. 16, 29, 30 dydd cymmod yw efe, * cymmanfa sanctaidd
Num 29,7 fydd i chwi, yna cystuddiwch eich eneidiau, ac
offrymmwch ebyrth tanllyd i'r Arglwydd.
28 Ac na wnewch ddim caeth-waith o fewn
corph y dydd hwnnw, o herwydd dydd cymmod
m Gen 17, 14 yw efe, i wneuthur iawn trosoch ger bron yr Ar-
Pen. 16, glwydd eich Duw.
Num. 29 2 29 m Canys pob enaid yr hwn ni chystuddier o
Ioan 7, 2 fewn corph y dydd hwn, a dorrir ymaith oddi-
Deut. 16, 13 wrth ei bobl.

30 A phob enaid a wnelo ddim gwaith o fewn
corph y dydd hwn, difethaf yr enaid hwnnw he-
fyd o fysc ei bobl. n Ioan 2, 14
31 Na wnewch ddim gwaith: deddf dragy- Zec. 14
wyddol drwy eich cenhedlaethau yn eich holl Luc 1,75
drig-fannau [yw hynn.]
32 Sabboth gorphwysdra [yw] efe i chwi, cys-
tuddiwch chwithau eich eneidiau ar y nawfed
[dydd] o'r mis yn yr hwyr; o hwyr i hwyr y ced-
wch eich Sabboth.
33 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan
ddywedyd,
34 Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd,
* Ar y pymthecfed dydd o'r seithfed mis hwn, y *Num.
bydd gŵyl y pebyll n saith niwrnod i'r Arglwydd. 29, 12 Ioan 7, 2
35 o Ar y dydd cyntaf [y bydd] cymmanfa o Deut. 16
sanctaidd: dim caeth-waith nis gwnewch. Neh. 8, 18
36 p Saith niwrnod yr offrymmwch ebyrth tan- p Num. 29, 13
llyd i'r Arglwydd, ar yr wythfed dydd y bydd Ioan 7, 37
cymmanfa sanctaidd i chwi: yna offrymmwch
ebyrth tanllyd i'r Arglwydd, uchel-ŵyl yw hi,
na wnewch ddim caeth-waith.
37 q Dymma ŵyliau 'r Arglwydd y rhai a gy- q Num 29 17
hoeddwch yn gymmanfeudd sanctaidd i offrym- Ester 9, 17
mu i'r Arglwydd ebyrth tanllyd, offrwm poeth, Num. 28, 15
bwyd offrwm, aberth, a diod offrwm, dogn [pob]
dydd yn ei ddydd.
38 r Heb law Sabbothau'r Arglwydd, ac heb r Deut. 16, 17
law eich rhoddion chwi, ac heb law eich holl Deut. 12, 6
addunedau, ac heb law eich holl offrymmau
gwirfodd y rhai a roddoch i'r Arglwydd.
39 s Etto ar y pymthecfed dydd o'r seithfed s Ex. 23, 16
mis, pan gynhulloch ffrwyth eich tir, cedwch ŵyl
yr Arglwydd saith niwrnod, [bydded] gorphwys-
dra ar y dydd cyntaf, a gorphwysdra ar yr wyth-
fed dydd.
40 t A'r dydd cyntaf cymmerwch i chwi ffrwyth t Neh. 8, 16
pren prydferth, canghennau palmwydd a brig Mat. 6, 8
pren caead-frig, a helig afon, ac ymlawenhewch Neh. 8, 15 Dat. 7, 9
ger bron yr Arglwydd eich Duw saith niwrnod. Sal. 72, 9
41 A chedwch hon yn ŵyl i'r Arglwydd saith Can. 7, 8
niwrnod yn y flwyddyn, deddf dragywyddol yn Esa. 41, 19 Zec. 1, 8
eich cenhedlaethau [yw,] mai ar y seithfed mis y Esa. 44, 4. Deut. 16,
cedwch hi yn ŵyl. 15 Zec. 14, 16
42 u Mewn bythod yr arhoswch saith niwrnod, u Neh. 8,
pob priodor yn Israel a drigant mewn bythod. 16 Pen. 23,
43 v Fel y gwypo eich cenhedlaethau chwi mai 42 Gen. 33, 17
mewn bythod y perais i feibion Israel drigo pan Iob. 27, 18
ddygais hwynt allan o dir yr Aipht: myfi [yd- v Ex. 12, 37
wyf] yr Arglwydd eich Duw. Deut. 31, 10, 13
44 A thraethodd Moses ŵyliau'r Arglwydd Neh. 8, 18
wrth feibion Israel.

## PEN XXIV.

1 *Olew y lusernau.* 10 *Cospedigaeth y cabludd.* 17 *Cyf-raith y cyffelyb.*

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,

2 *Gorchymyn i feibion Israel i ddwyn attat olew oliwydden pur coethedic yn oleuni, i beri i'r lluserniau gynneu * bob amser.

3 *O'r tu allan i wahan-len y destiolaeth ym mhabell y cyfarfod y trefna Aaron ef o hwyr hyd foreu ger bron yr Arglwydd bob amser; deddf dragywyddol drwy eich cenhedlaethau [yw hynn.]

4 *Ar y canhwyllbren pûr y trefna efe y lluserniau ger bron yr Arglwydd bôb amser.

5 yA chymmer beilliaid a phoba ef yn ddeuddec teissen: dwy ddecfed ran [epha] fydd pob teissen.

6 *A gosot hwynt yn ddwy rês, chwech [yn] y rhes, ar y bwrdd pur ger bron yr Arglwydd.

7 *A dod ti thus pur ar y rhesau, fel y byddo yn fara coffadwriaeth, [ac] yn aberth tanllyd i'r Arglwydd.

8 *Ar bob dydd Sabboth y trefna efe hynn ger bron yr Arglwydd bob amser, yn gyfammod tragywyddol oddi wrth feibion Israel.

9 *A bydd eiddo Aaron ai feibion, hwynt ai bwyttu yn y lle sanctaidd, canys sancteiddbeth cyssegredic yw iddo ef o ebyrth tanllyd yr Arglwydd, [drwy] ddeddf dragywyddol.

10 A mab gwraig o Israel, a hwn yn fab gŵr o'r Aipht, a aeth allan ym mysc meibion Israel, a mab yr Israelites, a gŵr o Israel a ymgynhennasant yn y gwerssyll.

11 ᵇA mab y wraig o Israel a felldithiodd enw [yr Arglwydd,] ac a gablodd: yna y dygasant ef at Moses, ac enw ei fam oedd Selomit merch Dibri, o lwyth Dan.

12 *A gosodasant ef yng-harchar nes hysbysu iddynt o enau'r Arglwydd [beth a wnaent].

13 Llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd,

14 ᶜ *Dwg y cabludd i'r tu allan i'r gwersyll, a rhodded pawb a i clywsant ef eu dwylo ar ei benn ef, a llabyddied yr holl gynnulleidfa ef.

15 ᵈA llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, Pob un pan gablo ei Dduw a ddwg ei bechod.

16 * A lladder yn farw yr hwn a felldithio enw yr Arglwydd, yr holl gynnulleidfa gan labyddio ai llabyddiant ef; lladder yn gystal y dieithr a'r priodor, pan gablo efe enw [yr Arglwydd.]

17 *A phan laddo neb ddyn, lladder yntef yn farw.

18 A'r hwn a laddo anifail, taled efe un byw am dano.

19 ᶠA phan roddo un anaf ar ei gymmydog, fel y gwnaeth y gwneler iddo.

20 *Torriad am dorriad, llygad am lygad, dant am ddant; megis y rhoddes anaf ar ddyn, felly rhodder arno yntef.

21 A'r hwn a laddo anifail ai tâl; a laddo ddyn a leddir.

22 *Bydded un farn i chwi, bydded i'r dieithr fel i'r priodor; myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich Duw.

23 ᵍYna y mynegodd Moses [hyn] i feibion Israel, a hwynt a ddugasant y cabludd i'r tu allan i'r gwerssyll, ac ai llabyddiasant ef â cherric, felly meibion Israel a wnaethant megis y gorchymynnodd yr Arglwydd wrth Moses."

## PEN. XXV.

*Sabboth y seithfed flwyddyn. 8 Y Iubili yn y ddecfed flwyddyn a deugain. 14 Gwerthiad a gollyngdod tiroedd, tai, a dynion.*

"LLEFARODD yr Arglwydd hefyd wrth Moses ym mynydd Sinai, gan ddywedyd:

2 ʰLlefara wrth feibion Israel, a dywet wrthynt, pan ddeloch i'r tir yr hwn a roddaf i chwi, yna gorphywysed y tir, [bydded] Sabboth i'r Arglwydd.

3 *Chwe blynedd yr heui dy faes, a chwe blynedd y torri dy winllan ac y cescli ei chnwd.

4 ⁱAc ar y seithfed flwyddyn y bydd Sabboth gorphwysdra i'r tir, [sef] Sabboth yr Arglwydd: na haua dy faes, ac na thorr dy winllan.

5 Na chynhaiafa yr hynn a dyfo o honaw ei hun, ac na chynnull dy rawnwin gwahanedic, bydded yn flwyddyn orphywysdra i'r tir.

6 Ond bydded [ffrwyth] Sabboth y tir yn ymborth i chwi, [sef] i ti, ac i'th wasanaethwr, ac i'th wasanaeth-ferch, ac i'th weinidog cyflog, ac i'th alltud yr hwn a ymdeithio gyd a thi.

7 ʲ I'th anifail hefyd, ac i'th fwyst-fil, yr hwn [fydd] yn dy dir, y bydd ei holl gnwd yn ymborth.

8 ᵏ Cyfrif hefyd it saith Sabboth o flynyddoedd, [sef] saith mlynedd saithwaith, dyddiau y saith Sabboth o flynyddoedd fyddant i ti yn naw mlynedd a deugain.

9 ˡ A phar ganu it udcorn y Iubili ar y seithfed mis, ar y ᵐ decfed dydd o'r mis, ar ddydd y cymmod cenwch yr udcorn trwy eich holl wlad.

10 ⁿ A sancteiddiwch y ddecfed flwyddyn a deugain, a chyhoeddwch rydd-did yn y wlad i'w holl drigolion, Iubili fydd hi i chwi, a dychwelwch bob un i'w etifeddiaeth, ïe dychwelwch bob un at ei deulu.

11 Y ddecfed flwyddyn a deugain honno fydd Iubili i chwi, na heuwch, ac na fedwch ei chnwd a dyfo o honaw ei hun: ac na chynhullwch ei gwinllanoedd gwahanedic hi.

12 ᵒAm ei bod yn Iubili bydded sanctaidd i chwi, o'r maes y bwyttewch ei ffrwyth hi."

13 O fewn y flwyddyn Iubili hon y dychwelwch bob un i'w etifeddiaeth.

14 ᵖPan werthech ddim i'ch cymydog neu brynnu ar law dy gymydog, na orthrymmwch bawb ei gilydd.

15 ᑫPrynn gan dy gymydog yn ol rhifedi y

blynyddoedd ar ol y Iubili: a gwerthed efe i
tithe yn ol rhifedi blynyddoedd y cnydau.
16 Yn ol amldra y blynyddoedd y chwanegi
ei bris, ac yn ol anamldra y blynyddoedd y llei-
hei di ei bris: o herwydd rhifedi y cnydau y mae
efe yn ei werthu it.
rDiar.16, 17 [r]Ac na orthrymmwch bob un ei gymmydog,
6 ond ofna dy Dduw, canys myfi [ydwyf] yr Arg-
lwydd eich Duw chwi.
s Pen.26, 18 [s]Gwnewch chwithau fy-neddfau, a chedwch
5 Pen. 26, 3, 4 fy-marnedigaethau, a gwnewch hwynt, a chewch
Sal. 67,2, drigo yn y tir yn ddiogel.
7. a 85,11 12, 13 19 Y tir hefyd a rydd ei ffrwyth, a chewch
Pen. 26,5 fwytta digon, a chewch drigo ynddo yn ddiogel.
t Mat. 6, 20 [t]A hefyd os dywedwch, Beth a fwyttawn y
25, 26, 33 seithfed flwyddyn: wele ni chawn hau, ac ni
chawn gynnull ein cnwd:
u Sal.147, 21 [u]Myfi a archaf fy mendith arnoch y chwe-
15 Deut. 28 ched flwyddyn, a hi a ddwg ei ffrwyth [i wasan-
8 aethu] dros dair blynedd.
Sal. 33,3 v1Tim. 4 22 [v]A'r wythfed flwyddyn yr heuwch, ond
8 1Cor. 9,8 bwyttewch o'r hên gnwd: yr hên a fwyttewch
9, 10 hyd y nawfed flwyddyn, nes dyfod ei chnwd hi.
w Sal.24, 23 [w]A'r tir ni cheir ei werthu yn llwyr, canys
1 Ex. 19, 5 eiddo fi [yw] y tir, o herwydd dieithriaid ac all-
Zec. 2,12 tudion ydych gyd a mi.
Rhuf. 8, 38, 39 24 [x]Ac yn holl dir eich etifeddiaeth rhoddwch
Ioan 10, 28, 29 ollyngdod i'r tir.
Sal. 39,12 25 [y]Os tloda dy frawd a gwerthu [dim] oi eti-
Heb. 11, 13, 14 feddiaeth, a dyfod ei gâr nessaf iddo, [yna] efe
x 2 Cor.2 7, 8 a gaiff ollwng yr hynn a werthodd ei frawd.
1Ioan 1,9 26 [z]Ond os gŵr ni bydd gollyngudd iddo, a
y Ruth 3, 9 chyrhaeddyd oi law ef ei hun gael digon iw
Heb. 2,14 Rhuf. 11, ollyngdod,
26 1Thes. 1, 27 Yna cyfrifed flynyddoedd ei werthiad, a
10 Gal. 6, 1 rhodded drachefn yr hynn fyddo tros ben i'r
z Pen.5,7 gŵr yr hwn y gwerthodd ef iddo, felly aed eil-
waith iw etifeddiaeth.
a Col. 1,12 28 [a]Ac os ei law ni chaiff ddigon i dalu iddo,
13. a 3, 24 Eph. 1, 10 yna bydded yr hynn a werthodd efe yn llaw yr
11, 18 hwn ai prynnodd hyd flwyddyn y Iubili, ac
aed [y prynnwr] allan yn y Iubili, a deued [y
gwerthwr] drachefn i'w etifeddiaeth.
29 A phan wertho gŵr dŷ annedd [o fewn]
dinas gaeroc, yna bydded ei ollyngdod hyd [ben]
blwyddyn gyflawn wedi ei werthu, [tros] flwy-
ddyn y bydd rhydd ei ollwng ef.
30 Ac oni ollyngir nes cyflawni iddo flwydd-
yn gyfan, yna siccrhaer y tŷ 'r hwn fydd yn y
ddinas gaeroc yn llwyr i'r neb ai prynnodd [ac]
iw hiliogaeth, nid aiff allan yn y Iubili.
31 Ond tai trefi y rhai nid oes caeroedd o am-
gylch iddynt a gyfrifir fel maes o dir: bid goll-
yngdod iddynt, ac aed [y prynnwr] allan yn y
Iubili.
32 Ond dinasoedd y Lefiaid, a thai dinasoedd
eu hetifeddiaeth hwynt, bid i'r Lefiaid eu goll-
wng bob amser.

33 A [bydded] yr hwn ai gollwng [un] o'r Le-
fiaid, ac aed [y prynnwr] allan o'r tŷ a werth-
wyd a dinas ei etifeddiaeth ef yn y Iubili: canys
tai dinasoedd y Lefiaid ydynt eu hetifedd-
iaeth hwynt ym mysc meibion Israel.
34 [b]Ac ni cheir gwerthu maes pentrefol eu b1Pedr 1
dinasoedd hwynt: canys etifeddiaeth dragy- 4 Act. 4,36
wyddol yw efe iddynt. 37
35 [c]A phan dlodo dy frawd gyd a thi, a llith- c Deut.15
ro ei law, yna † cynnorthwya ef: fel y byddo byw 7, 8 1Thes.5,
gyd a thi, [megis] y dieithr-ddyn a'r alltud. 14 Iago 5,16
36 * Na chymmer ganddo occreth, na llôg: ond 20 † Heb.
ofna dy Dduw, a gad ith frawd fyw gyd a thi. cryfha
37 Na ddod dy arian iddo mewn usuriaeth, ac * Ex. 22, 25
na ddod dy fwyd iddo ar lôg. Deut. 23 19
38 [d]Myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich Duw chwi, Ezec. 18 8
yr hwn a'ch dygais allan o dir yr Aipht, i roddi Sal. 15, 5
iwch dir Canaan, [ac] i fod yn Dduw i chwi. Diar. 28, Gal. 2,14
39 [e]* A phan dlodo dy frawd gyda thi ai wer- 21 dPen. 17,
thu ef it, na [f]wna iddo wasanaethu yn gaeth. 7
40 Bydded gyd a thi fel gweinidog cyflog: fel e2Bren.4 1
alltud, hyd flwyddyn y Iubili y caiff wasanaethu Ex. 22, 3 *Ier 34,14
gyd a thi. Deut. 15,
41 [f]Yna aed oddi wrthit ti, efe ai blant gyd 12 f1Bren.9
ag ef, a dychweled at ei dylwyth ac aed drach- 22 Ex. 1,14
efn i etifeddiaeth ei dadau. Ier. 25,14 a 30, 8
42 [h]Canys fyng-weision i ydynt, y rhai a ddy- g Ioan 8
gais allan o dir yr Aipht, na werther hwynt yn 32 Rhuf. 6,
gaeth-werthiad. 14 Ex. 21, 3
43 * Na feistrola arno [i] ef yn galed, ond ofna Mat. 18,
dy Dduw. 25 2Bren 4,1
44 [k]A [chymmer] dy wasanaeth-wr, a'th was- h 1Cor 7, 23
anaeth ferch y rhai fyddant itti, o fysg y cenedl- Rhuf. 6,
oedd y rhai [ydynt] o'th amgylch: o honynt y 22 Adn. 55
prynnwch wasanaeth-wr a gwasanaeth-ferch. *Eph.6,9 Col. 4, 1
45 [l]A hefyd o blant yr alltudion y rhai a ym- i Ex. 1,13
deithiant gyd a chwi, prynnwch o'r rhai hyn, ac Deut. 25 18
oi tylwyth y rhai [ŷnt] gyda chwi, y rhai a gen- Mal. 3, 5 Rhuf. 3,
hedlasant hwynt yn eich tir chwi: byddant hwy 18 k Sal. 2,9
i chwi yn etifeddiaeth. Dat. 2,26
46 [m]Ac etifeddwch hwynt i'ch plant ar eich ol 27 Gen. 17,7
iw meddiannu [hwynt] yn etifeddiaeth: gwnewch Esa. 56,3 lGen.21,4
iddynt eich gwasanaeth byth: ond am eich bro- m Esa.14,
dyr meibion Israel, pob un am ei frawd, na feis- 2
trola yn galed arno.
47 [n]A phan gyrhaeddo llaw dŷn dieithr neu all- n Adn.36
tud [gyfoeth] gyd a thi, ac i'th frawd dlodi gyd a 49
thi, ai werthu ei hun i'r dieithr yr hwn fydd yn-tri-
go gyd a thi, neu i un o hiliogaeth ty-lwyth y di-
eithr-ddyn,
48 Wedi ei werthu ceir ei ollwng yn rhydd: un
oi frodyr a gaiff ei ollwng yn rhydd.
49 [o]Naill ai ei ewythr frawd ei dad, ai mab ei o Neh.5,8
ewythr ai gollwng ef yn rhydd, neu [un] o gyf-
nessaf ei gnawd ef oi dylwyth ei hun ai gollwng
ef yn rhydd, neu ei law a gyrredd ei waredu ei hun. p Iob 7,1,2
50 [p]A chyfrifed ai brynnwr o flwyddyn y Iubili: Esa. 16,14 a 21, 16

a bydded arian ei werthiad ef fel rhifedi y bly-
nyddoedd, megis dyddiau gweinidog cyflog y
bydd efe gyd ag ef.
51 Os llawer [fydd] o flynyddoedd yn ol, taled
ei ollyngdod o arian ei brynedigaeth yn ol hynny.
52 Ac os ychydic flynyddoedd fydd yn ol hyd
flwyddyn y Iubili pan gyfrifo ag ef, taled ei oll-
yngdod yn ol ei flynyddoedd.
53 Megis gwâs cyflog y bydd efe gyd ag ef
[o] flwyddyn i flwyddyn, ac na feistroled arno
yn galed yn dy olwg di.
q Rhuf.6, 11, 12 54 q Ac os efe ni ollyngir o fewn [y blynydd-
Ioan 8, 34, 36 oedd] hynn, yna aed allan flwyddyn y Iubili,
Heb 2,14, 15 efe ai blant gyd ag ef.
r Ex.20,2 55 r Canys gweision i mi [yw] meibion Israel,
Esa 43,3 Ex. 13,3 fyng-weision ydynt y rhai a ddygais o dîr yr
Aipht. Myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich Duw
chwi.

## PEN. XXVI.

*Y fendith a gaffo y rhai a gadwant orchymynion Duw.*
*14 A'r felldith a ddaw i'r rhai nis cadwant.*

*Ex.20,4 NA wnewch eulynnod iwch, * ac na chod-
Deut. 16, 22. a 5,8 wch i chwi ddelw gerfiedic na cholofn,ac
Sal. 97,7 s Esa.2,16 na roddwch s ddelw faen yn eich tîr i ymgrym-
mu iddi, canys myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich
Duw chwi.
t Pen19,3 2 t Fy Sabbothau maufi a gedwch, a'm cys-
segr maufi a berchwch: myfi [ydwyf] yr Ar-
glwydd.
u Luc 1,6 3 u * Os yn fy neddfau maufi y rhodiwch, a'm
* Deut. 28,1 gorchymynnion maufi a gedwch, ai gwneuthur
hwynt;
v Deut. 11,14 4 v Yna mi roddaf eich cafodau yn eu hamser,
Deut 28 12 a rhydd y ddaiar ei chynnyrch, a choed y maes
Sal. 67,6 a rydd eu ffrwyth.
w Amos9 13 5 w A'ch dyrnu a gyrredd hyd gynhaiaf y
Ioel 2,26 grawn-win, a chynhaiaf y grawn-win a gyrredd
Pen. 25, 18 hyd amser hau, a'ch bara a fwytewch yn ddig-
* Iob 11, 19 onol, * ac yn eich tir y trigwch yn ddiogel.
x Sal.120, 7 6 x Rhoddaf heddwch hefyd yn y tir, a gor-
Ier.30,10 weddwch hefyd heb ddychrynnudd, a gwnaf i'r
2Bren.17 25 bwyst-fil niweidiol ddarfod o'r tir: ac nid aiff
cleddyf drwy eich tir.
y Num.14 3 7 y Eich gelynion hefyd a erlidiwch, a syrth-
iant o'ch blaen ar y cleddyf.
* Ios.23, 10 8 * A phump o honoch a erlidiant gant, a
Deut. 32 30 chant o honoch a erlidiant fyrddiwn, a'ch ge-
lynion a syrthiant o'ch blaen ar y cleddyf.
z Ex.1,7 Neh.9,23 9 z A mi a edrychaf am danoch, ac a'ch gwnaf
chwi yn ffrwythlawn, ac a'ch amlhaf chwi, ac
a gadarnhaf fyng-hyfammod a chwi.
a Pen.25, 22 10 a A'r hên henaidd a fwyttewch, ïe yr hên a
* Ezec.37 26 fwriwch chwi allan o achos y newydd.
1Cor 6,16 11 * Rhoddaf hefyd b fy nhabernacl yn eich
b Dat. 21, 3 mysc, ac ni ffieiddia fy enaid chwi.
c Dat 2,1 12 c Ac mi a rodiaf yn eich plith, a byddaf yn
Gen.17,7 Dduw i chwi, a chwithau a fyddwch yn bobl i mi.

13 Myfi [yw]'r Arglwydd eich Duw, yr hwn d Ioan 8, 31, 36
a'ch dygais chwi allan o dir yr Aipht, rhac eich
bod yn weision iddynt, a thorrais rwymau eich
iau, a gwneuthum iwch rodio yn sythion.
14 e Ond os chwi ni wrandewch arnaf, ac ni e Deut 28
wnewch yr holl orchymynnion hynn; 15
15 f Os fy neddfau hefyd a ddirmygwch, ac os f 2 Bren.
eich enaid a ffieiddia fy marnedigaethau, heb 17, 15
wneuthur fy holl orchymynnion, gan dorri o
honoch fyng-hyfammod ;
16 g Minne hefyd a wnaf hyn i chwi, gosodaf g Sal. 78, 33
yn oruchaf arnoch ddychryn, darfodigaeth, a'r Ier. 15, 8
crŷd poeth, y rhai a wnânt i'r llygaid ballu, ac Deut. 28, 22
a ofidiant eich eneidiau, a heuwch eich hâd yn Luc 4,38 Ioan 4,38
ofer, canys eich gelynion ai bwyttu. 1 Sam. 2, 33
17 h Ac a roddaf fy wyneb i'ch erbyn, fel y Ier. 31,25
syrthiwch o flaen eich gelynion: a'ch caseion a Ier. 5, 17 h Barn. 2
feistrolant arnoch: * ffoiwch hefyd pan na byddo 14 Sal. 106,
neb yn eich erlid. 41
18 i Ac os er hyn ni wrandewch arnaf, yna y * Diar. 28, 1
chwanegaf eich cospi chwi saith mwy am eich i Ier. 2, 30
pechodau.
19 j Canys torraf falchder eich nerth chwi, a j Ezec. 7, 24
rhoddaf eich nefoedd chwi fel haiarn, a'ch tir Ier. 14, 1, 2
chwi fel prês.
20 k A'ch cryfdwr a dderfydd yn ofer, canys k Sal. 127, 1
eich tir ni rydd ei gynnyrch, a choed y tir ni Hag. 1, 10
roddant eu ffrwyth.
21 l Ac os rhodiwch yng-wrthwyneb imi ac ni l Ier. 5, 3
fynnwch wrando arnaf fi, yna chwanegaf bla
saith mwy arnoch yn ol eich pechodau.
22 m Ac anfonaf fwystfil y maes yn eich erbyn, m 2 Bren.
ac efe a'ch gwna chwi yn ddiblant, ac a ddifethaf 17, 25 Galar. 1,
eich anifeiliaid, ac a'ch lleihá chwi, a'ch ffyrdd 4 Mica 3, 11
a wneir yn anialwch.
23 n Ac os wrth hyn ni chymmerwch ddysc n Amos 4,
gennif, ond rhodio yn y gwrthwyneb i mi: 8, 9
24 Yna * rhodiafi hefyd mewn gwrthwyneb i * Salm 18, 26
chwithau, a mi a'ch maeddaf chwi hefyd saith 2 Bren.
mwy am eich pechodau. 22, 27
25 A dygaf arnoch gleddyf yr hwn a ddial
fyng-hyfammod, a chwi a ymgesclwch i'ch di-
nasoedd, yna yr anfonaf haint i'ch mysc, a chwi
a roddir yn llaw y gelyn.
26 o Pan dorrwyf ffonn eich bara, yna dec o o Esa. 3, 1
wragedd a bobant eich bara mewn un ffwrn, ac Sal. 104, 15
a ddygant eich bara adref dan bwys, a chwi a Dat 6,5,6
fwyttewch, ac nis digonir chwi. Ezec. 4, 16, 17
27 Ac os er hyn ni wrandewch arnaf, ond Mic. 6, 14
rhodio yn fy erbyn; p Esa 43, 11
28 p Rhodiaf yn eich erbyn chwithau hefyd, q Ezec. 5, 10
mewn llîd, a mi a'ch cospaf chwi etto saith mwy Galar. 4, 10
am eich pechodau. 2 Bren 6, 29
29 q A chwi a fwyttewch gnawd eich meibion, * 2 Cron.
a chnawd eich merched a fwyttewch. 34, 7 r 2 Bren.
30 * Eich uchelfeydd r hefyd a ddifwynaf, ac a 23, 20 Sal. 79, 1
dorraf eich delwau, ac a roddaf eich celanneddau Ier. 14, 19

chwi yng-hyd a chelaneddau eich eulynod chwi,
a'm henaid a'ch ffieiddia chwi.
sNeh.2,9 31 [s]A rhoddafeich dinasoedd yn anghyfannedd,
ac a ddinistriaf eich cyssegroedd, ac ni aroglaf
eich arogl esmwyth.
t Ier. 33, 28 32 [t]A mi a ddinistriaf eich tîr, fel y byddo
aruthr gan eich gelynion y rhai a drigant ynddo
oi herwydd.
u Sal.44, 11 33 [u]Chwithau a wascaraf ym-mysc y cenhedl-
Zec. 7, 14 oedd, a gwnaf dynnu cleddyf ar eich ôl, a'ch tir
fydd diffaithwch, a'ch dinasoedd hefyd fyddant
anghyfannedd.
34 Yna y bodlonir y ddaiar am ei Sabbothau,
yr holl ddyddiau y byddo yn ddiffaithwch: a
chwithau a fyddwch yn nhir eich gelynion, yna y
gorphywys y tir, ac y bodlonir am ei Sabbothau.
vPen.25, 4. Rhuf. 8, 22 35 [v]Yr holl ddyddiau y byddo yn ddiffeithwch
y gorphywys, o herwydd ni orphywysodd ar eich
Ier. 29,10 Sabbothau chwi, pan oeddech yn trigo ynddo.
*Pen25,2 36 A'r hyn a weddillir o honoch, * dygaf fedd-
w Deut. 20, 3 alwch [w] ar eu calonnau yn nhir eu gelynion, a
Esay 7, 4 thrwst deilen yn yscwyd ai herlid hwynt: a ffo-
Iob 15,21, 22 ant fel ffoi rhac cleddyf, a syrthiant hefyd heb neb
Diar 28,1 yn [eu] herlid.
37 A thrippiant bob un wrth ei gilydd megis
o flaen cleddyf, ac heb neb yn eu herlid, ac ni
ellwch sefyll o flaen eich gelynion.
x Esa 27, 13 38 [x] Difethir chwi hefyd ym-mysc y cenhedl-
Ier. 50, 6 oedd, a thir eich gelynnion a'ch bwytty.
y Ezec. 33, 10 39 [y] A'r rhai a weddillir o honoch a doddant yn
a 24, 23 eu hanwireddau yn nhir eich gelynnion, ac yn
Ex. 20, 5 anwireddau eu tadau gyd a hwynt y toddant.
z Neh.1,4 5, 6 40 [z]Yna y cyffesant eu hanwiredd ac anwiredd
Dan. 9, 3 4 eu tadau yng-hyd ai camwedd yr hwn a wnaeth-
ant i'm herbyn, a hefyd y modd y rhodiasant yn
y gwrthwyneb i mi.
a 2 Cron. 26 41 [a]Ac y rhodiais yn eu gwrthwyneb hwyntau,
Iob 40,12 ac y dygais hwynt i dir eu gelynion: os yno'r
Act. 7, 51 Ier. 9, 26 ymostwng eu calon ddienwaededic, ai bod yn
fodlon am eu cospedigaeth,
bEx6,5,6 42 [b] Minne a gofiaf fyng-hyfammod ag Iacob,
Deu. 4,31 Luc 1, 69 a'm cyfammod hefyd ag Isaac, a'm cyfammod
Gal. 3, 8, 29 hefyd ag Abraham a gofiaf, a meddyliaf am y tir.
Dan.9,20 Salm 58, 43 [c] A'r tir a adewir hebddynt, ac a fodlonir
1, 2 am ei Sabbothau tra fyddo yn ddiffaethwch heb-
Ezec. 36, 33 ddynt, a hwyntau a fodlonir am eu cospedig-
cEzec13, 10 aeth o achos ac o herwydd dirmygu o honynt
fy-marnedigaethau, a ffieiddio oi henaid fy-
neddfau.
dRhuf.5, 10 a 11,25 44 [d] A hyn hefyd, * ni ddirmygaf hwynt pan
*Deut.4, 31 fyddant yn nhir eu gelynion, ac ni ffieiddiaf
Ier.11,29 hwynt iw difetha, gan dorri fyng-hyfamod a
e Sal. 33, 12 hwynt, o herwydd myfi [ydyw]'r Arglwydd [e] eu
Sal. 79, 8 Gal. 3,24 Duw hwynt.
45 Ond cofiaf erddynt gyfammod y rhai cyn-
taf, y rhai a ddygais allan o dir yr Aipht yng
olwg y cenhedloedd i fod iddynt yn Dduw, myfi
[ydwyf] yr Arglwydd.
46 [f] Dymma y deddfau, a'r barnedigaethau f Pen25,1
a'r cyfreithiau y rhai a roddodd yr Arglwydd
rhyngddo ei hun a meibion Israel ym-mynydd
Sinai, drwy law Moses.

## PEN. XXVII.

*Cyfraith addunedau, degymmau, a phethau wedi rhoddi eu diofryd, sef wedi i'r perchennoc addo i'r Arglwydd trwy adduned na fwynhae hwynt byth, ond eu gadel i wasanaeth y cyssegr.*

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,
2 [g] Llefara wrth feibion Israel, a dywet wrth- g Num. 21, 2, 3
ynt, Pan addunedo neb ddynion i'r Arglwydd Num. 6,3
yn dy bris di: Deut 23, 21
3 [h] Yna bydded dy bris am wryw o fab ugain hGen.29, 13
mlwydd hyd fab trugain mlwydd, ie bydded Ex. 30,13
dy bris ddec sicl a deugain o arian yn ol sicl y
cyssegr.
4 [i] Ac os benyw fydd hi, bydded dy bris ddec iEx.21,32
sicl ar hugain. Zec 11,12 Mat 27,9
5 Ac o fab can mlwydd hefyd hyd fab ugain
mlwydd bydded dy bris am wryw ugain sicl, ac
am fenyw ddec sicl.
6 [j] A bydded hefyd dy bris am wryw o fab jNum.18, 16. a 3,40
misyriad hyd fab pum mlwydd, bum sicl o ar- Ex. 13,30
ian: ac am fenyw dy bris [fydd] tri sicl o arian.
7 [k] Ond o fab trugain mlwydd ac uchod os k Sal. 90, 10
gwryw [fydd] bydded dy bris bymthec sicl, ac 1 Ioan 2,
am fenyw ddec sicl. 13
8 [l] Ond os tlodach fydd efe na'th bris di, yna l Pen.5,7 a 14, 21
safed ger bron yr offeiriad, a phrissied yr offeir- Marc14,8
iad ef yn ol yr hyn a gyrhaeddo llaw 'r adduned- Preg. 5, 2, 4
udd, [felly] y prissia 'r offeiriad ef. 2Cor.8,12
9 Ond os anifail yr hwn yr offrymmir o honaw
offrwm i'r Arglwydd [fydd ei adduned,] yr hyn
oll a roddir o honaw i'r Arglwydd sanctaidd
fydd.
10 Na rodded un arall am dano, ac na newid-
ied ef, y da am y drwg, neu'r drwg am y da, ac
os gan newidio y newidia anifail am anifail,
bydded hwnnw, a bydded ei gyfnewid hefyd yn
sanctaidd,
11 [m] Ac os [adduneda efe] un anifail aflan yr m Deut. 23, 18
hwn ni ddylent offrymmu o honaw offrwm i'r
Arglwydd, yna rhodded yr anifail i sefyll ger
bron yr Arglwydd.
12 A phrissied yr offeiriad ef, os da os drwg
[fydd] fel y prissio 'r offeiriaid [ef] it, felly y bydd.
13 [n] Ac os efe gan ryddhau ai rhyddha, yno n Pen. 5, 16. a 6,4,5
rhodded at dy bris di ei bummed rann yn Num 22,14
chwaneg.
14 [o] A phan sancteiddio gŵr ei dŷ yn sanct- oGen.1,5
aidd i'r Arglwydd, yna 'r offeiriad ai prissia yn
dda neu yn ddrwg, megis y prissio 'r offeiriad
ef, felly y saif.
15 Ac os y sancteiddydd a ollwng ei dŷ yn

rhydd, yna rhodded bummed ran arian dy bris
yn chwanec atto, a bydded eiddo ef [y tŷ.]
p Rhuf. Act. 5, 4 16 ᵖ Ac os o faes ei etifeddiaeth y sancteiddia
gŵr i'r Arglwydd, yna bydded dy bris yn ol ei
hauad, hauad homer o haidd [fydd] er dec sicl
a deugain o arian.
q Pen. 25, 10 17 ᑫ Os o flwyddyn y Iubili y sancteiddia efe
ei faes, safed yn dy bris di.
r Pen 25, 10 18 ʳ Ond os wedi y Iubili y sancteiddia efe ei
Luc 4, 18 faes, yna dogned yr offeiriad yr arian iddo yn
ol y blynyddoedd rhai fyddant yn ol hyd flwy-
ddyn y Iubili, a lleihaer ar dy bris di.
19 Ac os yr hwn ai sancteiddiodd gan ryddhau
a ryddhâ y maes, yna rhodded bummed ran arian
dy brîs di yn chwanec atto, a bydded iddo ef.
20 Ac on nis gollwng y maes yn rhydd, ond
s Adn. 28, 29 gwerthu y maes i ŵr arall, ni cheir ei ollwng byth.
t Adn. 12, 25 21 ˢ A'r maes fydd pann elo efe allan yn y Iu-
u Eph. 2, 15 bili yn gyssygredic i'r Arglwydd, fel maes diof-
ryd: a bydded ei etifeddiaeth i'r offeiriad.
* Ex. 30, 13 Num. 3, 47 22 Ac os ei dir prynn yr hwn ni [bydd] o dir
Ezec. 45, 12 ei etifeddiaeth, a sancteiddia efe i'r Arglwydd;
23 ᵗ Yna cyfrifed yr offeiriad iddo ddogn dy bris
§ Sef, yng bylch dwy geiniog thair a ffyrling. di hyd flwyddyn y Iubili, a rhodded yntef dy bris
di yn gyssegredic i'r Arglwydd y dydd hwnnw.
Num. 18, 16 24 ᵘ Y maes a aiff yn ei ol flwyddyn y Iubili, i'r
* Ex. 13, 2 hwn y prynnasseu efe ef ganddo, yr hwn [oedd]
a 20, 29, a 22, 29 eiddo etifeddiaeth y tir.
Num. 3, 13. 41 25 A phob pris it fydd wrth * sicl y cyssegr,
Ier 31, 27 ugain § gera fydd y sicl.
26 *Ond y cyntaf-anedic o anifail yr hwn a enir
yn gyntaf i'r Arglwydd na chyssegred neb ef,
pa un bynnac ai eidion, ai dafad [fydd,] eiddo'r
Arglwydd [yw] efe.
27 Ond os [ei adduned ef fydd] o anifail aflan,
yna rhyddhaed ef yn dy bris di, a rhodded ei
bummed ran yn ychwanec atto, ac onis rhydd-
ha yna gwerther ef yn dy bris di.
28 Ond pob diofryd-beth yr hwn a ddiofrydo
un i'r Arglwydd o'r hyn oll [a fyddo] eiddo ef, o
ddyn neu o anifail, neu o faes ei etifeddiaeth, ni
werthir ac ni waredir: *pob diofryd-beth sydd * Num 18, 8, 14
sancteidd-beth cyssegredig i'r Arglwydd. Pen. 2, 3
29 ᵛ Ni cheir gollwng yn rhydd un [anifail] diofry- v Ios. 6, 17 Deut 25, 19
doc yr hwn a ddiofryder gan ddyn, lladder yn 1 Sam 15, 3
farw. Num. 21, 2. 3
30 ʷ A holl ddegwm y tir o hâd y tir, [ac] o Salm 15, 4
ffrwyth y coed, yr Arglwydd ai piau, cyssegre- w Deut. 12, 5, 6
dic i'r Arglwydd [yw.]
31 ˣ Ac os gŵr gan ollwng a ollwng yn rhydd x Deut. 24, 25
[beth] oi ddegwm, rhodded ei bummed rann yn
y chwaneg atto.
32 ʸ A phob degwm eidion, neu ddafad yr hyn y Ier 33, 13
oll a elo dan y wialen fydd ddecfed gyssegredic Heb 7, 4, 7
i'r Arglwydd.
33 Nac edryched ai da ai drwg [fydd efe], ac
na newidied ef, ond os gan newidio y newidia efe
hwnnw, bydded hwnnw, a bydded ei gyfnewid ef
hefyd yn gyssegredic, ni ellir ei ollwng yn rhydd.
34 ᶻ Dymma y gorchymynnion y rhai a orchym- z Pen 25, 1
ynnodd yr Arglwydd wrth Moses i feibion Israel
ym-mynydd Sinai."

---

# PEDWERYDD LLYFR MOSES

### YR HWN A ELWIR

# NUMERI.

## PEN. I.

a Ex. 19, 1 Pen. 10, 11, 12 1 *Byddino plant Israel. 49 Bod yn rhaid i lwyth Lefi weini yn y babell.*
Ex. 25, 22
1 Bren. 6, 1 "Y R ᵃ Arglwydd a lefarodd wrth Moses yn
Pen. 10, 1 anialwch Sinai, ym mhabell y cyfarfod, ar
Ex. 16, 1 y [dydd] cyntaf o'r ail mis, yn yr ail flwyddyn
* Ex. 30, 11, 12 wedi eu myned hwynt allan o dir yr Aipht, gan
Pen. 4, 2. a 26, 63, 64 ddywedyd,
b Gen. 49, 1, 2, 3, 8 2 *Cymmerwch nifer holl gynnulleidfa ᵇ meib-
Pen. 26, 5 ion Israel, yn ol eu teuluoedd wrth dŷ eu tadau,
c Deut. 24, 5 dan rif eu henwau, pob gwryw wrth eu pennau.
2 Cron. 26, 11 3 ᶜ O fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a allo
1 Tim. 6, fyned i ryfel yn Israel: ti ac Aaron ai cyfrifwch
1 Cor. 6, 7 hwynt yn ol eu lluoedd.
4 A bydded gyd a chwi ŵr o bob llwyth, y gŵr
pennaf o dŷ ei dadau fydd hwnnw.
5 A dymma henwau y gwŷr y rhai a safant gyd
a chwi: o [lwyth] Ruben, Elizar mab Zedeur.
6 O [lwyth] Simeon, Selumiel mab Suri Sadai.
7 O [lwyth] Juda, Nahesson mab Aminadab.
8 O [lwyth] Issachar, Nathaniel mab Zuar.
9 O [lwyth] Zabulon, Eliab mab Helon.
10 O feibion Ioseph [dros lwyth] Ephraim, Eli-
sama mab Ammihud: tros [lwyth] Manasses,
Gamaliel mab Pedazur.
11 O [lwyth] Beniamin, Abidan mab § Gedeoni. § Torrwr i lawr.
12 O [lwyth] Dan, Ahiezer mab Ammi Sadi. Barn 6, 11
13 O [lwyth] Aser, Pagiel mab Ocran.

offrwm o beillied wedi ei gymmyscu trwy olew,
a'r ail bustach ieuangc a gymmeri di yn aberth
tros bechod.
9 A phâr i'r Lefiaid ddyfod o flaen pabell y
cyfarfod, a chynnull holl gynnulleidfa meibion
Israel.
a Act.6.6 Lef. 1,4 10 a Yna pâr i'r Lefiaid ddyfod ger bron yr
Arglwydd, a gosoded meibion Israel eu dwylo
ar y Lefiaid.
p Rhuf.1, 1 11 p Ac offrymmed Aaron y Lefiaid ger bron
yr Arglwydd, yn offrwm o feibion Israel, a bydd-
q 1 Tim.1, 8 ant hwy i q wasanaethu gwasanaeth yr Arglwydd.
1 Cor.16, 10 12 r A gosoded y Lefiaid eu dwylo ar ben y
r Col. 2, 16 bustych: a pharatoa un yn bech-aberth, a'r llall yn
offrwm poeth i'r Arglwydd, i wneuthur iawn
tros y Lefiaid.
13 Yna gosod y Lefiaid ger bron Aaron, a
cher bron ei feibion, ac offrwm di hwynt yn
offrwm i'r Arglwydd.
14 A naill-tua y Lefiaid o blith meibion Israel,
* Pen. 3, 41, a 16, 9 a * bydded y Lefiaid eiddof fi.
s Ezec.48, 10 15 s Wedi hynny deued y Lefiaid i wasanaethu
1 Cron. 24, 18 pabell y cyfarfod: a phura di hwynt, ac off-
rymma hwynt yn offrwm.
Adn 11, 13, 14 16 t Canys hwynt a roddwyd yn rhodd * i
t Ex. 13, 2 * Pen. 3, 13 mi o blith meibion Israel: yn lle agorydd pob
Luc. 2,23 crôth ([sef] pob cyntafanedic o feibion Israel) y
cymmerais hwynt i mi.
* Ex. 13, 2 Luc. 2,23 17 * Canys i mi [y daeth] pob cyntafanedic ym
u Gen. 25, 31, a 49, 3 mhlith meibion Israel, o ddyn ac o anifail: er y
Iaco 1, 18 dydd y tarewais bob cyntafanedic yng-wlad yr
Heb. 11, 28 Aipht y sancteiddiais hwynt i mi fy hun.
Dat. 15, 4, 5 18 A chymmerais y Lefiaid yn lle pob cyn-
tafanedic o feibion Israel.
v Ioan 17, 6 19 v A rhoddais y Lefiaid yn rhodd i Aaron
Heb. 2, 13 ac i'w feibion o blith meibion Israel, i wasan-
Pen. 3, 11 Pen. 15, 7, 8 aethu gwasanaeth meibion Israel ym mhabell y
Lef. 10, 1 cyfarfod, ac i wneuthur iawn tros feibion Israel,
fel na byddo pla ar feibion Israel, wrth ddyfod
o feibion Israel i'r cyssegr.
w Adn 10 11, 13 20 w Yna y gwnaeth Moses ac Aaron a holl gyn-
nulleidfa meibion Israel i'r Lefiaid yn ol yr hyn
oll a orchymynnase 'r Arglwydd wrth Moses am
y Lefiaid: felly y gwnaeth meibion Israel iddynt.
21 A'r Lefiaid a ymburasant ac a olchasant
eu dillad: ac Aaron ai hoffrymmodd hwynt yn
offrwm ger bron yr Arglwydd: a gwnaeth Aaron
x 2 Cron. 35, 11 iawn x trostynt i'w glanhau.
22 Wedi hynny y Lefiaid a ddaethant i was-
anaethu gwasanaeth ym mhabell y cyfarfod, ger
bron Aaron a'i feibion: megis y gorchymynnodd
yr Arglwydd wrth Moses am y Lefiaid, felly y
gwnaeth efe iddynt.
23 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan
ddywedyd:
y Pen. 4, 3, 1 Tim. 3, 3 24 y Dymma yr hyn [a wneir] i'r Lefiaid: o fab
pum mlwydd ar hugain ac uchod y deuant i fil-

wriaeth milwriaeth yng-wasanaeth pabell y cyfarfod.
25 Ac o fab deng-mlwydd a deugain y caiff un
ddychwelyd yn ei ol o filwriaeth y gwasanaeth
fel na wasanaetho mwy.
26 Ond gwasanaethed gyd a'i frodyr ym mha-
bell y cyfarfod, i orchwylio: ac na wasanaethed
y gwasanaeth: fel hyn y gwnei i'r Lefiaid yn eu
gorchwyliaeth."

## PEN IX.

*Cadwriaeth gŵyl y Pasc. 15 Cwmwl y cyfarwydd-dab; yr hwn tra safe ar y tabernacl ni syfle yr Israeliaid o'u hunman: a thra fydde oddi arno, ni thorrent ar eu cerdded.*

"A'R z Arglwydd a lefarodd wrth Moses yn z Ex. 12, 25
anialwch Sinai, yn yr ail flwyddyn wedi Neh. 2, 1
eu dyfod hwynt allan o dir yr Aipht, ar y mis
cyntaf, gan ddywedyd,
2 a Cadwed meibion Israel y Pasc hefyd yn ei a Ex. 12, 11
dymmor. 1 Cor. 5, 7. 8
3 Ar y pedwerydd dydd ar ddec o'r mis hwn, yn Ex. 12, 6
y *cyfnos† y cedwch ef yn ei dymmor: yn ol ei holl Lef. 23, 34
ddeddfau, ac yn ol ei holl ddefodau y cedwch ef. 1 Bren. 12, 32
4 Felly y llefarodd Moses wrth feibion Israel † Heb. rhwng y
am gadw y Pasc. ddau hwyr
5 A chadwasant y Pasc, ar y [mis] cyntaf, ar * Ex. 12, 2
y pedwerydd dydd ar ddec o'r mis, yn y cyfnos, Lef. 23, 5 Pen 28, 16
yn anialwch Sinai: yn ol yr hyn oll a orchym- Deut. 16, 2
ynnase yr Arglwydd wrth Moses, felly y gwnaeth Heb. 1, 2
meibion Israel. Mat. 27, 46
6 b Ac yr oedd dynion y rhai oeddynt wedi eu b Lef. 21, 11
halogi wrth gelain dyn, ac ni allent gadw y Pasc Pen. 6, 6
ar y dydd hwnnw, yna y daethant ger bron
Moses a cher bron Aaron, ar y dydd hwnnw.
7 c A'r dynion hynny a ddywedasant wrtho, c Ex. 12, 27
Nyni [ydym] wedi ein halogi wrth gorph dyn 1 Cor. 5, 7
marw: paham i'n gwaherddir rhac offrymmu
offrwm i'r Arglwydd yn ei dymmor, ym mysc
meibion Israel?
8 d A dywedodd Moses wrthynt, Sefwch, a mi d Heb. 3, 5, 6
a wrandawaf beth a orchymynno yr Arglwydd Ioan 7, 17
o'ch plegit.
9 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan
ddywedyd,
10 e Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, e Eph. 2, 1, 13
Pan fyddo neb wedi ei halogi gan gorph marw,
neu [neb] o honoch neu o'ch cenhedlaethau mewn
ffordd bell, etto cadwed Basc i'r Arglwydd.
11 f Ar y pedwerydd dydd ar ddec o'r ail mis f Deut. 16, 7
yn y cyfnos y cadwant ef: yng-hyd a bara croiw, Ex. 12, 8
a dail chwerwon y bwyttant ef. 1 Cor. 5, 8 Ex. 1, 14
12 Na weddilliant [ddim] o honaw hyd y boreu,
ac * na thorrant ascwrn ynddo: yn ol holl * Ex. 12, 10 46
ddeddf y Pasc y cadwant ef. Ioan 19, 33, 36
13 g A'r gŵr yr hwn a fydd glân, ac heb fod g Pen. 15, 30
mewn taith, ac a oedo gadw'r Pasc, torrir ym- Gen. 17, 14
aith yr enaid hwnnw o fysc ei bobl, am na off- Ex. 12, 15
rymmodd offrwm yr Arglwydd yn ei dymmor, Pen. 19, 13
ei bechod a ddwg y gŵr hwnnw. Lef. 24, 9

14 A phan ymdeithio dieithr gyd a chwi cad-
* Ex. 12, wed hefyd Basc yr Arglwydd, fel [y byddo]
48, 49 deddf y Pasc ai ddefod, felly y ceidw: yr * un
Pen.15,15 deddf fydd i chwi, h sef i'r dieithr ac i'r un sydd
h Lef. 5, 16 ai anedigaeth o'r wlad.
* Ex. 40, 15 Ac ar y dydd * y codwyd y tabernacl,
10, 34 a 15, 21 cwmwl a i gaeodd am y tabernacl tros babell
i Ex. 33, 11 a 40, 34 y destiolaeth, ac yr ydoedd ar y tabernacl fel
Pen. 14, 14 Ezec. 10, 34. tân o hwyr hyd forau.
Ex. 13, 21 16 j Felly yr ydoedd yn wastadol: y cwmwl a ga-
Pen. 1, 50 ie amdano y dydd, ond y nos lliw tân [ydoedd.]
Ex. 40, 38 a 14. 20 17 k Ac fel y cyfode y cwmwl oddiar y babell,
Esa. 4, 5, 6 Sal. 105, 39 felly wedi hynny y cychwnne meibion Israel:
2 Pedr. 1, 19 ac yn y lle yr hwn yr arhose y cwmwl ynddo,
yno y gwersylle meibion Israel.
Heb. 12, 1 18 l Wrth amnaid yr Arglwydd y cychwnne
j Ex. 40, 36 meibion Israel, ac wrth amnaid yr Arglwydd y
Neh. 9, 19 k Pen. 10, 36 gwersyllent: yr holl ddyddiau * yr arhose y
Sal. 80, 1, 2 cwmwl ar y tabernacl y gwersyllant hwy.
Ioan 10, 9 19 m A phan drige y cwmwl yn hir ar y taber-
Esa. 49, 9 nacl lawer o ddyddiau, yna meibion Israel a
l Sal. 105, 37 gadwent wiliadwriaeth yr Arglwydd, ac ni
* 1 Cor. 10, 1 chychwnnent.
m Act. 1, 7 20 Ac os bydde y cwmwl ychydic o ddyddiau
ar y tabernacl, wrth amnaid yr Arglwydd y
gwersyllent, ac wrth amnaid yr Arglwydd y
cychwnnent.
21 Hefyd os bydde y cwmwl o hwyr hyd forau,
a chyfodi o'r cwmwl y borau, hwythau a sym-
mudent: pa un bynnac ai dydd ai nos [fydde]
* Ex. 40, 34 pan gyfode y cwmwl, yna y cychwnnent.
22 * Os deu-ddydd, os mis, os blwyddyn [fy-
dde] tra y trige y cwmwl ar y tabernacl gan
aros arno, meibion Israel a wersyllent, ac ni
n Dent. 1, 6, 7 chychwnnent, ond pan gyfode efe y cychwnnent.
a 2, 3, 4 23 n Wrth air yr Arglwydd y gwersyllent, ac
Pen. 10, 35 wrth air yr Arglwydd y cychwnnent, [felly] y
Sal. 77, 20 cadwent wiliadwriaeth yr Arglwydd, yn ol
gair yr Arglwydd trwy law Moses.

## PEN. X.

*Yr udcyrn arian. 11 Yr Israeliaid yn ymado a mynydd Sinai. 29 Hobab yn gwrthod myned gyd a Moses.*

"A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo-
o 2 Cron. 5, 12 ses, gan ddywedyd,
Esa. 58, 1 2 o Gwna it ddau udcorn arian: yn gyfanwaith
Ex. 25, 31 y gwnei hwynt, a byddant it i alw y gynnulleidfa
Pen. 9, 18 yng-hyd, ac i beri i'r gwerssylloedd gychwyn.
3 Pan ganant â hwynt, yr ymgascl yr holl gyn-
p Ex. 19, nulleidfa attat wrth ddrws pabell y cyfarfod.
4 p Ond os ag un y canant, yna y tywysogion [sef]
pennaethiaid miloedd Israel a ymgasclant attat ti.
q Lef. 23, 24 5 q Pan ganant hwy alarwm [y waith gyntaf]
1 Cor. 14, 8 yna y gwerssylloedd y rhai a werssyllant tua'r
Pen. 2, 3, 7 dwyrain, a gychwnnant.
r Pen. 2, 10 6 r Os canant alarwm [yr ail waith] yna y gwer-
sylloedd y rhai a werssyllant tua'r dehau a gych-
wnnant, alarwm a ganant hwy wrth eu cychwyn.
7 Ac wrth alw yng-hyd y gynnulleidfa cenwch
yr udcyrn, ond na chenwch alarwm.
8 A meibion Aaron yr offeiriad a ganant ar yr
udcyrn, a byddant i chwi yn ddeddf dragywy-
ddol trwy eich cenhedlaethau.
9 s Hefyd pan eloch i ryfel yn eich gwlad, yn s Pen. 31, 6
erbyn y gorthrymmwr a'ch gorthrymmo chwi, 2 Cron. 13, 12
cenwch alarwm mewn udcyrn: yna y cofferir Ioel. 2, 1
chwi ger bron yr Arglwydd eich Duw, ac yr 2 Cron. 13, 14
achubir chwi rhac eich gelynion. Gen. 8, 1
10 t Ar ddydd eich llawenydd hefyd, ac ar Ezec. 33, 3, 7
eich gwyliau gosodedic, ac ar ddechrau eich t 1 Cron. 15
misoedd y cenwch ar yr udcyrn uwch ben eich Esa. 30
offrymmau poeth, a'ch aberthau hedd: a bydd- Deut. 16, 14
ant i chwi yn goffadwriaeth ger bron eich Duw: Sal. 81, 3
myfi [ydwyf] yr Arglwydd eich Duw. 2 Cron. 7, 6
11 u A bu yn yr ail flwyddyn, ar yr ail mis, ar 2 Cron. 29, 28
yr ugeinfed [dydd] o'r mis gyfodi o'r cwmwl Ezra 3, 10
oddi ar dabernacl y destiolaeth. Col. 3, 16
u Pen. 9, 17
12 v A meibion Israel a gychwnnasant i'w Pen. 1, 1
taith o anialwch Sinai, a'r cwmwl a arhosodd yn Pen. 9, 5
anialwch Pharan. Deut. 1, 6
13 w Felly y cychwnnasant y waith gyntaf wrth v Ex. 19, 1
air yr Arglwydd trwy law Moses. Deut. 1, 1
14 x Ac yn* gyntaf y cychwnnodd lluman gwer- a 33, 2
syll meibion Iuda yn ol eu lluoedd: ac ar ei lû w Pen. 2, 34
ef [yr ydoedd] * Nahesson mab Aminadab. Ex. 4, 13
15 Ac ar lû llwyth meibion Issachar, Nathan- Sal. 135, 8
iel mab Zuar. Ier. 2, 6
16 Ac ar lû llwyth meibion Zabulon, Eliab x Gen. 8
mab Helon. * Pen. 2, 3
17 y Yna y tynnwyd i lawr y tabernacl, a mei- a 1, 7
bion Israel, a meibion Merari a gychwnnasant y Pen. 1, 51
gan ddwyn y tabernacl. Pen. 7, 5
18 z Yna y cychwnnodd lluman gwersyll Ru- 16
ben yn eu lluoedd, ac [yr ydoedd] ar ei lû ef z Pen. 2, 10, 16
Elizur mab Sedeur.
19 Ac ar lû llwyth meibion Simeon, Selumiel
mab Suri Sadai.
20 Ac ar lû llwyth meibion Gad, Eliasaph
mab Duel.
21 A'r Cehathiaid a gychwnnasant gan ddwyn
* y cyssegr, [a'r lleill‡] a godent y tabernacl tra * Pen. 4, 4, 5, 7
fyddent hwy yn dyfod. ‡ y Ger-
22 Yna lluman gwersyll meibion Ephraim a soniaid
gychwnnodd yn ol eu lluoedd, ac [yr oedd] ar a'r Mer-
ei lû ef Elisamah mab Ammihud. ariaid.
23 Ac ar lû llwyth meibion Manasses, Gama-
liel mab Pedazur.
24 Ac ar lû llwyth meibion Beniamin, Abidan
mab Gedeon.
25 a Yna lluman gwersyll meibion Dan yn a Deut. 25, 17, 18
olaf o'r holl werssylloedd a gychwnnodd yn ol Esa. 52, 12
ei lluoedd, ac yr [ydoedd] ar ei lu ef Ahieser, a 58, 8
mab Ammi Sadi.
26 Ac ar lû llwyth meibion Aser, Pagiel mab
Ocran.
27 Ac ar lû llwyth meibion Nephthali, Ahiram
mab Enan.

28 Dymma gychwnniadau meibion Israel yn
ol eu lluoedd, fel y cychwnnasant.
29 A dywedodd Moses wrth Hobab mab
Reguel y Madianiad, chwegrwn Moses: Myned
yr ydym i'r lle yr hwn a ddywedodd yr Argl-
wydd, rhoddaf hwnnw i chwi, tyret gyd a ni,
a gwnawn ddaioni it: canys llefarodd yr Argl-
wydd ddaioni am Israel.
30 Dywedodd yntef wrtho, Nid af ddim, onid
i'm gwlâd fy hun, ac at fyng-henedl fy hun yr âf.
31 Yna y dywedodd [Moses,] na âd ni atte-
lwg: canys am it adnabod ein gwersyllfaoedd
yn yr anialwch yr ydwyt i ni yn lle llygaid.
32 A phan ddelech gyd a ni, a dyfod o'r daioni
hwnnw, yr hwn a wna yr Arglwydd i ni, gwnawn
ninnau ddaioni i tithe.
33 A chychwnnasant oddi wrth fynydd yr
Arglwydd daith tri diwrnod, ac Arch cyfammod
yr Arglwydd a gychwnnodd daith tri diwrnod
o'i blaen hwynt i chwilio am orphwysfa iddynt.
34 A chwmwl yr Arglwydd [oedd] arnynt
beunydd, wrth eu cychwyn o'r gwerssyll.
35 A hefyd pan gychwnne yr arch, Moses a
ddywede: Cyfot Arglwydd, a gwascarer dy
elynion, a ffoed dy gaseion o'th flaen.
36 A phan orphwyse hi y dywede efe, Dych-
wel Arglwydd [at] ‡ fyrddiwn miloedd Israel.

## PEN. XI.

*Y bobl yn tuchan, 4 yn blysio cig. 6 ac yn alaru ar y Manna. 11 Cwyn Moses. 16 Yr Arglwydd yn rhoddi dec a thrugain o swyddogion tann Moses. 31 Duw yn anfon sofl iair. 33 Cospedigaeth ar flys-wyr y cig.*

A'R bobl fel tuchanwyr oeddynt flin yng-
hlustiau yr Arglwydd, a chlywodd yr Ar-
glwydd hyn, ai ddig a enynnodd, a thân yr Ar-
glwydd a gynneuodd yn eu mysg hwynt, ac a
yssodd gwrr y gwersyll.
2 Yna y llefodd y bobl ar Moses, a gweiddodd
Moses ar yr Arglwydd, a † diffoddodd y tân.
3 Ac a alwodd henw y lle hwnnw § Tabera:
am gynneu o dân yr Arglwydd yn eu mysc.
4 A'r * dorf yr hon [ydoedd] yn eu mysc a flys-
iasant yn ddirfawr, a meibion Israel hefyd a
ddychwelasant, a ŵylasant, ac a ddywedasant,
Pwy a'n portha ni â chig?
5 Cof yw gennym y pyscod y rhai a fwyttaw-
som yn yr Aipht yn rhad, y cucumerau, a'r
pompionau, a'r cennyn, a'r winiwn, a'r garllec.
6 Ond yr awr hon y mae ein heneidiau ni yn
gwywo, heb ddim ond Manna yn ein golwg.
7 A'r Manna hwnnw oedd *fel hâd coriander,
ai liw fel lliw Bdeliwm.
8 Y bobl a aethant o amgylch ac [ai] cascl-
asant, ac [ai] malasant mewn melinau, neu ai
curasant â gyrdd, ac [ai] berwasant mewn peir-
iau ac [ai] gwnaethant yn deisennau: ai flâs yd-
oedd fel blâs [bara] o olew ir.
9 A phan ddiscynne y gwlith y nos ar y
gwersyll, discynne y Manna gyd ag ef.
10 A chlybu Moses y bobl yn ŵylo trwy eu
tylwythau, pob un yn nrws ei babell: ac enynodd
dig yr Arglwydd yn fawr, a drwg oedd gan Moses.
11 Dywedodd Moses hefyd wrth yr Arglwydd,
Pa ham y drygaist dy wâs? a pha hâm na cha-
wn ffafr yn dy olwg wrth roddi baich yr holl
bobl hyn arnaf?
12 Ai myfi a feichiogais ar yr holl bobl hyn?
ai myfi ai hescorais, pan ddywedech wrthyf,
Dwg hwynt yn dy fynwes (megis y dwg tad-
maeth y plentyn sugno) i'r tir yr hwn a addew-
aist trwy lŵ i'n tadau?
13 O ba le [y bydde] i mi gig i'w roddi i'r
holl bobl hynn? canys ŵylo y maent wrthif, gan
ddywedyd, Dod i ni gig i'w fwytta.
14 Ni allafi fy hunan arwain yr holl bobl hyn,
canys rhy-drwm ydynt i mi.
15 Ac os felly y gwnei i mi, attolwg gan ladd
lladd fi, os cefais ffafor yn dy olwg di: fel na
welwyf fy nryg-fyd.
16 Yna dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Cascl i mi ddeng ŵr a thrugain o henuriaid Is-
rael, y rhai a wyddost eu bod yn henuriaid y
bobl, ac yn swyddogion iddynt, a chymmer
hwynt i babell y cyfarfod, a safant yno gyda thi.
17 Canys descynnaf a llefaraf wrthit yno, ac
mi a attaliaf o'r yspryt yr hwn sydd arnat, ac ai
gosodaf arnynt hwy, felly y dygant gyd a thi
faich y bobl, fel na ddygech di yn unic.
18 Am hynny dywet wrth y bobl, Ymsanct-
eiddiwch erbyn y foru, a chewch fwytta gig: ca-
nys ŵylasoch yng-hlustiau yr Arglwydd, gan
ddywedyd, Pwy a ddyry i ni gig i'w fwytta?
canys [yr ydoedd] yn dda arnom yn yr Aipht:
am hynny y rhydd yr Arglwydd i chwi gig, a
bwyttewch.
19 Nid un dydd y bwyttewch, ac nid dau, ac
nid pump o ddyddiau, ac nid dec diwrnod, ac
nid ugain diwrnod.
20 [Ond] hyd fis o ddyddiau, byd oni ddel all-
an o'ch ffroenau, a'i fod yn ffieidd-beth i chwi, am
i chwi ddirmygu yr Arglwydd yr hwn [sydd] yn
eich plith, ac ŵylo o honoch yn ei wydd ef, gan
ddywedyd, Pa ham y daethom yma o'r Aipht?
21 A dywedodd Moses, Chwe chant mil o
wŷr traed [yw] y bobl y rhai yr ydwyf fi yn eu
plith: a thi a ddywedi, Rhoddaf gig iddynt i'w
fwytta fis o ddyddiau.
22 Ai defaid a gwartheg a leddir iddynt, fel
y byddo digon iddynt? ai holl bysc y môr
a gesclir iddynt fel y byddo digon iddynt?
23 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Mo-
ses, * Ai llaw yr Arglwydd a gwttogwyd? yr
awr hon y cei di weled a ddigwydd fyng-air it,
ai na [ddigwydd].
24 A Moses a aeth allan, ac a draethodd

eiriau yr Arglwydd wrth y bobl, ac a gasclodd
ddeng ŵr a thrugain o henuriaid y bobl, ac a'u
gosododd hwynt o amgylch y babell.
a Ex 40, 25 a Yna y descynnodd yr Arglwydd mewn cw-
38 mwl, ac a lefarodd wrtho, ac a attaliodd o'r ys-
Pen 12, 5 Iago 1,17 pryt yr hwn[oedd] arno, ac a'i rhoddes i'r dêc hen-
2Cor 3, 5 Ioel 2, 29 afgwyr a thrugain, a thra y gorphywyse yr yspryt
Act. 2, 18 1Cor. 14, 3 arnynt y prophwydent, § a chwaneg ni wnaent.
§ ac ni pheid- 26 b A dau o'r gwŷr a drigasent yn y gwersyll
ient. b Adn 16, (henw un[ydoedd] Eldad, a henw y llall Medad)
24 1Sam, 10, a gorphywysodd yr yspryt arnynt hwy am eu
22 bod hwynt o'r rhai a scrifennasid, ond nid aeth-
ant i'r babell, etto prophwydasant yn y gwersyll.
27 A rhedodd llangc a mynegodd i Moses, ac
a ddywedodd, Y mae Eldad a Medad yn pro-
phwydo yn y gwerssyll.
c Marc 9, 28 c Ac Iosuah mab Nun, gweinidog Moses o'i
38 ieuengctyd, a attebodd ac a ddywedodd, Moses
fy arglwydd gwahardd hwynt.
d Ioan 3, 29 d Yna y dywedodd Moses wrtho, Ai cenfi-
26 Phil 1, 18 gennu yr ydwyt ti trossofi? O na byddai boll
1Cor 14, 1 bobl yr Arglwydd yn brophwydi trwy roddi o'r
Arglwydd ei yspryt arnynt.
30 A Moses a aeth i'r gwersyll, efe a henuriaid
Israel.
31 Ac fe aeth gwynt oddi wrth yr Arglwydd,
* Salm 78, ac a dynnodd * sofl-iair oddiwrth y môr, ac a'i
26 Ex 16, 13 tanodd wrth y gwersyll, megis taith † diwrnod
† Heb ffordd, ar y naill du, a thaith diwrnod ar y tu arall o
amgylch y gwerssyll, a [hynny] ynghylch dau
gufydd ar wyneb y ddaiar.
e Ex 8, 4 32 e Yna y cododd y bobl y dydd hwnnw oll,
Ezec 45, 11 a'r nos oll, a'r holl ddydd dranoeth, ac a gascl-
Salm 78, asant y sofl-iair: yr hwn a gasclodd leiaf a gascl-
27 odd ddêc homer: a chan danu y tanasant o
honynt o amgylch y gwerssyll.
f Ioel 1, 5, 33 f Y cig [ydoedd] etto rhwng eu dannedd
Salm 106, hwynt heb ei gnoi pan enynnodd digofaint yr
14, 15 Arglwydd yn erbyn y bobl, * a'r Arglwydd a
* Sal. 78, 31 darawodd y bobl â phlâ mawr iawn.
g Deut 9 22 1Cor. 10, 34 g Am hynny galwodd [y bobl] henw y lle
6 hwnnw Beddau y blys: am iddynt gladdu yno
y bobl a flysiasent.
h Pen. 33, 35 h O feddau y blys yr aeth y bobl i Haseroth:
17 Deut. 1, 1 ac a arosasant yn Haseroth.

## PEN. XII.

*Aaron a Miriam yn beio ar Moses. 10 Cospedigaeth Miriam, a'i rhydd-dab,*

i Diar. 13 LLEFARODD i Miriam hefyd ac Aaron
10 Ex. 2, 16 yn erbyn Moses, o achos y wraig o Æthiop,
j Ex. 15, 20 yr hon a gymmerase efe: canys efe a gymmer-
Gen. 36, ase Æthiopes yn wraig [iddo.]
Sal. 94, 7, 2 j A dywedasant, Ai yn unic trwy Moses y
8 k Mat. 11 lleferodd yr Arglwydd? oni lefarodd trwom
29 2Cor. 11, ninnau hefyd? a'r Arglwydd a glybu [hynny.]
5, 6 Sal. 106, 3 k A'r gŵr Moses [ydoedd] larieiddiaf o'r
23, 32 holl ddynion, y rhai [oeddynt] ar wyneb y ddaiar.

4 l A dywedodd yr Arglwydd yn ddisym- l Sal. 67,
mwth wrth Moses, ac wrth Aaron, ac wrth Mi- Sal. 76, 9
riam, Deuwch allan eich trioedd i babell y cyf-
arfod, felly hwynt a aethant allan ill trioedd.
5 m Yna y descynnodd yr Arglwydd mewn m Gen. 11
colofn o niwl, ac a safodd [wrth] ddrws y babell 5
ac a alwodd am Aaron a Miriam, ac aethant Sal. 99, 7
allan ill dau.
6 n Ac efe a ddywedodd, Gwrandewch yr awr n Gen. 9
hon fyng-eiriau, os bydd prophwyd yr Arglw- 7 Iob 4, 13
ydd yn eich mysc mewn gweledigaeth yr ym- 1 Bren. 3
hysbysaf iddo, [neu] mewn breuddwyd y llef- 5
araf wrtho.
7 o Nid felly [y mae] fyng-was Moses, ffydd- o 1 Tim. 3,
lon yw efe yn fy holl dŷ. 15
8 p * Wyneb yn wyneb y llefaraf wrtho [mewn] p Deut. 1
gweledigaeth, nid mewn dammegion, ond caiff 2 Heb. 3, 5,
edrych ar wedd yr Arglwydd: pa ham gan 6 1 Tim. 1, 6
hynny nad ofnech ddywedyd yn erbyn fyng- 2 Pedr 1,
was [sef] yn erbyn Moses? 10 * Ex. 33,
9 Digofaint yr Arglwydd a enynnodd yn eu 11
herbyn hwynt, ac efe a aeth ymmaith.
10 q A'r niwl a ymadawodd oddi ar y babell, q 2 Bren.
ac wele Miriam [ydoedd] wahanglwyfus [yn 5, 27 Heb. 3, 5
discleirio] fel eira: ac edrychodd Aaron ar Mi-
riam, ac wele hi yn wahanglwyfus.
11 r Yna y dywedodd Aaron wrth Moses [Ys- r Pen. 14,
tyria] wrthyf fy Arglwydd, attolwg na osot ti yn 32 Sal. 38, 3
ein herbyn y pechod yr hwn yn ynfyd a wnae-
thom, [a thrwy] yr hwn y pechasom.
12 s Na fydded hi attolwg fel un marw yr hwn s Pen. 33
y bydd hanner ei gnawd wedi ei ddifa, pan
ddel allan o groth ei fam.
13 Yna Moses a waeddodd ar yr Arglwydd,
gan ddywedyd, O Dduw attolwg meddigin-
iaetha hi yr awr hon.
14 t A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Os t Esa 50, 6
ei thad a boere boerio yn ei hwyneb, oni chywil- Iob 30, 10
yddie hi saith niwrnod? * caier arni saith niwr- * Lef. 13,
nod o'r tu allan i'r gwersyll, ac wedi [hynny] 4, 5, 46
derbynnier hi.
15 u A chaewyd ar Miriam o'r tu allan i'r u Lef. 19,
gwerssyll saith niwrnod, a'r bobl ni chychwn- 15 2 Cron. 26
nodd, hyd oni ddaeth Miriam yng-hyd a hwynt. 20 Mica 6, 4
16 Ac * wedi hynny y cychwnnodd y bobl o Ha- * Pen. 33
zeroth, ac a werssyllasant yn anialwch Pharan. 16

## PEN. XIII.

*Gwŷr yn myned i spio gwlad Canaan. 24 Ac yn dwyn o ffrwyth y wlad gyd a hwynt. 28 Rhai o honynt yn peri i'r bobl arswydo myned rhagddynt i wlad Canaan, 31 Caleb yn gwrthwynebu y rhai hynny.*

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo- v Deut. 1
ses, gan ddywedyd, 22
2 w Anfon it wŷr i edrych tir Canaan yr hwn w Deut. 1
yr ydwyfi yn ei roddi i feibion Israel: gŵr tros 22 Deut. 1,
bob un o lwythau eu tadau a anfonwch: pob un 33 Ezec. 20,
yn bennaeth yn eu mysc hwynt. 6
3 x Yna Moses a'i hanfonodd hwynt o anialwch

Pharan wrth orchymmyn yr Arglwydd, pen-
naethiaid meibion Israel [oedd] y gwŷr hynny
oll.
4 Dymma eu henwau hwynt: tros lwyth Ru-
ben, Sammua mab Zacur.
5 Tros lwyth Simeon, Saphat mab Hori.
6 Tros lwyth Iuda, Caleb mab Iephun.
7 Tros lwyth Issachar, Igal mab Ioseph.
8 Tros lwyth Ephraim, Osea mab Nun.
9 Tros lwyth Beniamin, Palti mab Raphu.
10 Tros lwyth Zabulon, Gadiel mab Sodi.
11 O lwyth Ioseph, tros lwyth Manasses,
Gadi mab Susi.
12 Tros lwyth Dan, Amiel mab Gemali.
13 Tros lwyth Aser, Sehur mab Michael.
14 Tros lwyth Nephthali, Nahabi mab Vaphsi.
15 Tros lwyth Gad, Guel mab Machi.
16 Dymma henwau y gwŷr y rhai a anfonodd
Moses i edrych ansodd y wlad: a Moses a hen-
‡ Iesu. wodd Osea fab Nun, ‡ Iosuah.
y Barn. 1,15 17 y A Moses a'i hanfonodd hwynt i edrych
Sal.126,4 ansodd gwlad Canaan, ac a ddywedodd wrthynt,
Ios. 15,3 Act.14,23 Ewch yma tua'r dehau, a dringwch i'r mynydd.
Pen. 14,10 18 Ac edrychwch y wlad beth yw hi, a'r
Deut. 1,14 bobl sydd yn trigo ynddi, ai cryf, ai gwan, ai
llawer [ydynt.]
z 2 Bren. 3,19 19 z A pheth [yw] y tir yr hwn y maent yn
trigo ynddo, ai da, ai drwg, ac ym mha ddin-
asoedd y maent yn presswylio, ai mewn gwers-
ylloedd ai mewn caerau.
a Neh. 9,25,35 Ezec.34,14 20 a A pha dir, ai brâs yw efe, ai cûl, a oes
goed ynddo ai nad [oes,] ymgryfhewch a chym-
merwch o ffrwyth y tir: a'r dyddiau [oeddynt]
ddyddiau blaen-ffrwyth grawn-win.
b Pen. 14,5,4 Ios.19,28 & 13,5 21 b A hwyntau a aethant, ac a chwiliasant y
tir o anialwch Sin hyd Rehab, ffordd y deuir i
Hemath.
c Gen.23,8 Ios.14,9,10 Ios.15,14 Barn 1,10 Gen. 23,8 22 c Canys aethant i fynu i'r dehau, a daeth-
ant hyd Hebron; ac yna [yr oedd] Ahiman, Se-
sai, a Thalmai, meibion Anac: a Hebron a adail-
adasid saith mlynedd o flaen Zoan yn yr Aipht.
Deut.1,23 Sal.17,14 Sal.78,12 Esa.19,11 23 A daethant hyd * ddyffryn Escol, a thor-
rasant oddi yno gangen, ac un wryscen o rawn-
* Deut.1,24 wîn, ac ai dugasant ar drossol rhwng dau, [dug-
asant rai] o'r pomgranadau hefyd, ac o'r ffugus.
24 A'r lle hwnnw a alwasant dyffryn Escol,
o achos y wryscen rawn-wîn yr hon a dorrodd
meibion Israel oddi yno.
d Act.1,3 25 d A dychwelasant o chwilio y wlâd yn ol
deugain nhiwrnod.
e Deut. 1,19 Gen. 14,6 26 e Yna myned a wnaethant, a dyfod at Moses
ac at Aaron, ac at holl gynnulleidfa meibion
Israel i Cades yn anialwch Pharan: a dugas-
ant yn eu hol air iddynt, ac i'r holl gynnulleidfa,
ac a ddangosasant iddynt ffrwyth y tir.
f Deut. 1,25 * Ex.33,3 27 f A mynegasant iddo, a dywedasant: Daeth-
om i'r tir lle i'r anfonaist ni: * a llifeirio y mae



o laeth a mêl: ac fel dymma ei ffrwyth ef.
28 g Ond [y mae] y bobl y rhai sydd yn trigo g Deut. 9,1 & 3,5
yn y tir yn gryf: a'r dinasoedd yn gaeroc, [ac] yn Sal. 127,2
fawrion iawn, a gwelsom yno hefyd feibion Anac. Ier. 5,10 Deut.9,2
29 h Yr Amaleciaid sydd yn trigo yn nhir y h Ex.17,8 Gen.15,19
dehau, a'r Hethiaid, a'r Iebusiaid, a'r Amoriaid Barn 1,21
yn gwladychu yn y mynydd-dir: a'r Canaaneaid
yn presswylio wrth y môr, a cher llaw yr Ior-
ddonen.
30 i Yna y gostegodd Caleb y bobl ger bron i Pen. 14,6,7
Moses, ac a ddywedodd: Gan fyned awn i fynu, Pen 14,30
a gorescynnwn hi, canys gan orchfygu y gorch- Ios. 14,17 Rhuf. 8,31
fygwn hi.
31 j Ond y gwŷr y rhai a aethent i fynu gyd j Pen.14,6
ag ef a ddywedasant, Ni allwn fyned i fynu yn
erbyn y bobl [accw,] canys cryfach ydynt na
nyni.
32 k A rhoddasant allan anglod y tir yr hwn a k Diar. 10,18
chwiliasent wrth feibion Israel, gan ddywedyd: Mal.3,14
Y tir yr hwn yr aethom trosto i'w chwilio, tir yn Pen. 21,28
difa ei bresswylwyr yw efe: a'r holl bobl y rhai Amos 2,9
a welsom ynddo [ydynt] wŷr corphol:
33 l Ac yno y gwelsom feibion Anac y cawri l Esa. 40,22
[y rhai a ddaethant] o'r cawri, ac yr oeddem yn 1 Sam.17,42
ein golwg ein hunain fel ceiliogod rhedyn, ac
felly yr oeddem yn eu golwg hwyntau.

## PEN. XIV.

*Y bobl yn tuchan yn erbyn Duw, 6 Caleb ac Iosuah yn eu diddanu hwynt. 12 A'r bobl yn amcanu eu llabyddio hwythau. 47 Yr yspiwyr eraill yn meirw. 40 Rhai o'r bobl yn myned allan o'r llu heb gyngor yr Arglwydd, a laddwyd gan Amalec.*

YNA m yr holl gynnulleidfa a dderchafodd m Pen. 16,41
ac a roddodd ei llef, a'r bobl a ŵylasant Diar. 29,25
ar hyd y nôs honno.
2 n A holl feibion Israel a duchanasant yn er- n Ex. 16,2,8
byn Moses, ac yn erbyn Aaron, a'r holl gyn- Sal. 106,24
nulleidfa, a ddywedasant wrthynt, O na buas-
em feirw yn nhir yr Aipht, neu O na buasem
feirw yn y diffeithwch hwn.
3 o A pha ham y mae'r Arglwydd yn ein dwyn o Ier, 9,3
ni i'r tir hwn i gwympo ar y cleddyf? ein gwrag-
edd a'n plant fyddant yn yspail: onid gwell i
ni ddychwelyd i'r Aipht?
4 p A dywedasant bob un wrth ei gilydd, Go- p Deut. 28,68
sodwn ben [arnom,] a dychwelwn i'r Aipht.
5 q Yna y syrthiodd Moses ac Aaron ar eu q Pen. 16,22
hwynebau ger bron holl gynnulleidfa tyrfa
meibion Israel.
6 r Iosuah hefyd mab Nun a Chaleb mab Ie- r Pen 13,9
phun, [dau] o spiwyr y tir a rwygasant eu dillad. Gen. 37,29
7 s Ac a ddywedasant wrth holl dorf meibion s Deut.8,8
Israel, gan ddywedyd: Y tir yr hwn yr aethom
trosto iw chwilio [sydd] dir da odieth.
8 Os yr Arglwydd fydd boddlon i ni, yna efe
a'n dwg ni i'r tir hwn, ac ai rhydd i ni [sef] y
tir yr hwn sydd yn llifeirio o laeth a mêl. t Pen.24,8
9 t Yn unic na wrthryfelwch yn erbyn yr Sal. 79,7 Deut7,16

Arglwydd, ac nac ofnwch bobl y tir, canys ein
†Heb. bwyd ni ydynt: ciliodd eu † hamddiffyn oddi
Cysgod. Esa. 30,2 wrthynt, a'r Arglwydd [sydd] * gyd a ni, nac
Sal.121,5 Ier 48,45 ofnwch hwynt.
uGen.21,22 10 v Yna yr holl dorf a amcanasant eu lla-
vEx.17,4 byddio hwynt â meini: a gogoniant yr Arglwydd
1Sam.30,6 a ymddangosodd ym mhabell y cyfarfod i holl
Ex. 16,7 a 24,15 feibion Israel.
wSal. 95,8 11 w A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Heb.13,8 Pa hŷd y dirmyga y bobl ymma fyfi? a pha hŷd
Ioan 12,37 ni chredant i mi? am yr holl arwyddion, y rhai
a wneuthum yn eu plith.
xEx.5,3 a 32,10 12 x Tarawaf hwynt a haint, a gorescynnaf
hwynt, a gwnaf di yn genhedlaeth fwy, a chryf-
ach na hwynt.
13 Yna y dywedodd Moses wrth yr Arglwydd,
*Ex 32,12 * Felly yr Aiphtiaid a glywent (canys oi mysc
hwynt y dygaist y bobl yma i fynu yn dy nerth.)
14 y A [rhai] a ddywedant i bresswylwyr y
yPen12,8 Ex.33,11 tir hwn: (canys clywsant mai tydi Arglwydd
Gen. 32,30 sydd ym mysc y bobl ymma, ac mai ti Arglwydd
Ex 13,21 Pen 9,7 sydd yn ymddangos [iddynt] wyneb yn wyneb,
*Ex.13,21 a bod dy niwl di yn aros arnynt, * a'th fod ti
yn myned oi blaen hwynt mewn colofn niwl y
dydd, ac mewn colofn dân y nôs.)
15 Pan leddech y bobl ymma fel un gŵr, yna
y dywed y cenhedloedd y rhai a glywsant sôn
am danat, gan ddywedyd:
*Deut.9,28 16 O eissie * gallu o'r z Arglwydd ddwyn y
z Ios. 7,9 bobl yma i'r tir yr hwn trwy lŵ a addawse efe
iddynt, am hynny y lladdodd efe hwynt yn y
diffaethwch.
17 Yr awr hon gan hynny mawrhaer attolwg
nerth yr Arglwydd, fel y lleferaist, gan ddy-
wedyd:
*Ex. 34,6 18 Yr Arglwydd [sydd] * hwyrfrydic i ddig,
Sal.103,8 ac aml o drugaredd, yn maddeu anwiredd a
aNah.1,3 chamwedd, a chan gyfiawnhau ni a cbyfiawnha
*Ex.20,5 a 34,7 efe [yr annuwiol] ymweled y mae ag anwiredd
y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwar-
edd [genhedlaeth.]
b Ex. 20,8,9 19 b Madde attolwg anwiredd y bobl yma, yn
ol dy fawr drugaredd, megis y maddenaist i'r
bobl hyn o'r Aipht hyd ymma.
cSal.106,7,8 20 c Yna y dywedodd yr Arglwydd, Maddeu-
ais yn ol dy air.
d Ezec.18,3 21 d Er hynny byw wyfi, a'r holl dir a lenwir
Sal.72,19 o ogoniant yr Arglwydd.
e Ex.16,7 22 e Canys yr holl ddynion y rhai a welsant
fyng-ogoniant a'm harwyddion y rhai a wneu-
thum yn yr Aipht, ac yn y diffaethwch, ac a'm
temptiasant fi y ddeng-waith hyn, ac ni wran-
f Gen.19,5,7 dawsant ar fy llais.
Esay 8,8 Zec. 2,12 23 Ni welant y tir f yr hwn trwy lw a addew-
*Ios. 14,6,8 ais i'w tadau hwynt, sef y rhai oll a'm dirmyg-
gGal. 3,2 Eph. 6,6 asant nis gwelant ef.
Pen. 14,9 24 Ond fyng-was * Caleb am fod g ysprydt arall
gyd ag ef, ac iddo fyng-hyflawn ddilyn, dygaf
ef i'r tir yr hwn y daeth iddo, ai hâd ai hetifedda
ef.
25 h Ond y mae yr Amaleciaid a'r Canaaneaid h Pen.13,16
yn trigo yn y dyffryn: y foru dychwelwch ac Sal. 106,
ewch i'r diffaethwch [ar hyd] ffordd y môr coch. 19,23
26 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Moses,
ac wrth Aaron, gan ddywedyd,
27 i * Pa hŷd [y gwrandawaf] ar y gynnull- i Matth. 17,17
eidfa ddrygionus hon, yr hon sydd yn tuchan *Sal. 106,
i'm herbyn? [sef] y gwrandawaf duchan meibion 26
Israel y rhai ydynt yn tuchan i'm herbyn?
28 Dywet wrthynt * [Nid] byw fi medd yr *Pen.32,
Arglwydd onid fel y llefarasoch yn fyng-hlust 10
iau felly y gwnaf i chwi.
29 * Yn y diffaethwch k hwn y cwymp eich k 1 Cor.
celaneddau, a'ch holl rifedigion drwy eich holl 10,10
rif, y rhai a duchanasoch yn fy erbyn. Pen.26,64
30 Ni ddeuwch chwi i'r tir yr hwn y † codais † tyngais
fy llaw, am wneuthur i chwi bresswylio ynddo, Gen 14,22
ond Caleb mab Iephun, ac Iosuah mab Nun.
31 Ond * eich plant chwi y rhai y dywedas- *Deut.1,
och y byddent yn yspail, hwynt a ddygaf [i'r 39
wlad,] a chânt adnabod y tir yr hwn a ddirmyg-
asoch.
32 A'ch celaneddau chwi a gwympant yn y
diffaethwch hwn.
33 l A'ch meibion chwi fyddant fugeiliaid yn y l Pen.32,
diffaethwch ddeugain mlynedd, ac a ddygant 13 Deut.1,3
[gosp] eich putteindra chwi nes darfod eich ce- Ier. 3,9
laneddau chwi yn y diffaethwch.
34 m Yn ol rhifedi y dyddiau y chwiliasoch y m Ezec.
tir, [sef] deugain niwrnod, pob diwrnod am 4,6 Dan.9,26
flwyddyn y dygwch eich anwireddau, [sef]
deugain mlynedd: a chewch adnabod n fyn-nhor n Deut.
gair maufi. 31,16 Zec 11,8
35 o Myfi yr Arglwydd a lefarais, diau y gwnaf Iudas 5, o 1 Cor.
hyn i'r holl gynnulleidfa ddrygionus yma, y 10,11 Heb 3,19
rhai ydynt wedi ymgynnull i'm herbyn i: yn y
diffaethwch hwn y darfyddant ac yno y bydd-
ant feirw.
36 p A'r dynion y rhai a anfonodd Moses i p Pen.13,
chwilio y tir, ac a wnaethant i'r holl dorf duch- 32
an yn ei erbyn ef, pan ddychwelasant gan roddi
allan anair am y tir.
37 q Y dynion [meddaf] y rhai a roddasant q Adn.10,
allan anair drwg i'r tir a * fyddant feirw o'r 12 * Heb.3,
plâger bron yr Arglwydd. 10 1 Cor.10,
38 r Ond Iosuah mab Nun, a Chaleb mab 10 r Ios. 14,
Iephun a fyddant fyw o'r gŵŷr hyn, y rhai a 10 Judas 5
aethant i chwilio y tir.
39 s A Moses a lefarodd yr holl eiriau hyn wrth s Heb.12,
holl feibion Israel: a'r bobl fuant drist odieth. 17
40 A * chodasant yn foreu i fyned i ben y myn- *Deut.1,
ydd, gan ddywedyd, t Wele ni, ac ni a awn i 41 t Adn. 4
fynu i'r lle [am] yr hwn y dywedodd yr Ar- Mat.4,5 Act.14,15
glwydd: canys ni a bechasom.

41 A dywedodd Moses, Pa ham yr ydych fel
hyn yn troseddu gair yr Arglwydd? a hyn ni
lwydda.
u Deut. 1, 42 42 [u] Nac ewch i fynu: canys nid [yw] yr Ar-
glwydd yn eich plith: rhac eich taro o flaen eich
gelynion.
43 Canys yr Amaleciaid a'r Canaaneaid [ydynt]
yno o'ch blaen chwi, a chwi a syrthiwch ar y
cleddyf: canys am i chwi ddychwelyd oddi ar ol
yr Arglwydd, ni bydd yr Arglwydd gyd â chwi.
v Heb. 23 Pen 9,15 44 [v] Etto ymegniasant i fyned i ben y mynydd:
w Deut. 5, 44 ond arch cyfammod yr Arglwydd a Moses ni
symudasant o ganol y gwersyll.
* Deut. 1, 44 45 [w] Yna y descynnodd yr Amaleciaid a'r
Esa 63,10 Canaaneaid y rhai oeddynt yn presswylio yn y
Pen. 21, 3 1 Cor. 10, 11 mynydd hwnnw, ac a'i tarawsant, * ac a'i coeth-
asant hyd Horma.

## PEN. XV.

*Tresn y rhoddion a roddyd ynghyd a'r aberthau. 24 Am bechod a wneler heb wybod. 30 Neu trwy ryfyg. 32 Cosp yr hwn a gasclodd friwydd ar y Subboth. 38 Gweltiau y gorchymmynion.*

A'R Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan
ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, a dywet wrth-
* Lef. 23, 10 ynt: * Pan ddeloch i dir eich [x] preswylfa, yr hwn
x Ezec. 20, 34-37 yr ydwyfi yn ei roddi i chwi,
y Lef. 1, 3 [y] Ac offrymmu o honoch aberth tanllyd i'r
3, 4 Ezec. 45, Arglwydd [o] offrwm poeth, neu aberth [arall,]
17 Heb 9, 14 gan * neilltuo adduned, naill ai yn eich offrwm
a 10, 8, 10 gwirfodd, [z] ai ar eich gwyliau gosodedic, gan
Ezec. 2, 4, 15 wneuthur * arogl esmwyth i'r Arglwydd o'r
Ex. 18, 12. a 19, 18 eidionnau, neu o'r praidd:
Lef. 17, 5, 6. a 23, 37 4 * Yna [a] offrymmed yr hwn a offrymmo ei
Deut 12, 27 rodd i'r Arglwydd, o beillied ddecfed ran epha,
Lef. 23, wedi ei gymmyscu trwy bedwaredd ran hin o
10 olew yn fwyd offrwm.
z Lef 7, 16 a 23, 4 5 Ac offrwm di gyd a'r offrwm poeth, neu
Gen. 8, 21 Lef. 1, 9 aberth [arall] bedwaredd ran hin o wîn am bob
Mat. 3, 17 oen yn ddiod offrwm.
Ex. 29, 18 6 A thi a offrymmi yn fwyd offrwm gyd a
Lef. 2, 1 a Eph 5, 2 hwrdd, o beillied ddwy ddecfed ran [epha,] wedi
Esa 66, 20 ei gymmyscu trwy drydedd ran hin o olew.
Rhuf, 15, 16 7 [b] A thrydedd ran hin o wîn yn ddiod offrwm:
Mal. 1, 10 Pen. 28, 5 [felly] yr offrymmi arogl esmwyth i'r Arglwydd.
Lef. 19, 36 8 A phan ddarparech lô buwch yn offrwm
b Mat 26, 28, 29 poeth, neu aberth [arall,] gan neilltuo adduned,
Phil. 2, 17 2 Tim. 4, 6 neu [aberth] hedd i'r Arglwydd:
9 Yna offrymmed yn fwyd offrwm gyd a llô
y fuwch, o beillied dair decfed ran [epha,] wedi
ei gymmyscu trwy haner hin o olew.
10 Ac offrwm haner hin o wîn yn ddiod off-
rwm [dymma] aberth tanllyd, o arogl esmwyth
i'r Arglwydd.
11 Felly y gwneir am bob ŷch, neu am bob
hwrdd, neu am oen, neu am fynn.
12 Yn ol y rhifedi yr hwn a ddarparoch, felly
y darperwch i [bob] un yn ol eu rhifedi.
13 Pob priodor a wna y pethau hyn felly,
wrth offrymmu aberth tanllyd o arogl esmwyth
i'r Arglwydd.
14 A phan ymdeithio dieithr-ddyn, neu yr
hwn [sydd] yn eich plith, drwy eich cenhedl-
aethau, a darparu aberth tanllyd o arogl es-
mwyth i'r Arglwydd, fel y gwnewch chwi,
felly gwnaed yntef.
15 O dyrfa, yr * un ddeddf [c] [fydd] i chwi, ac * Ex 12, 49
i'r ymdeithydd dieithr: deddf dragywyddol [yw] Num 9, 14 c Lef 19,
drwy eich cenhedlaethau, [mai] megis chwi, 14
felly y bydd y dieithr ger bron yr Arglwydd. Gen. 17, 7
16 Un gyfraith, ac un ddefod fydd i chwi ac
i'r ymdeithydd a ymdeithio gyd a chwi.
17 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses
hefyd, gan ddywedyd,
18 Llefara wrth feibion Israel, a dywet wrth-
ynt: Pan ddeloch i'r tir yr hwn yr ydwyf yn
eich dwyn chwi iddo.
19 [d] Yna pan fwytaoch o fara y tir, y derche- d Esa 28, 28
fwch offrwm derchafel i'r Arglwydd. Pen. 18, 19
20 [e] O flaenion eich toes yr offrymmwch deis- e Diar. 3,
sen yn offrwm derchafel: fel offrwm derchafel y 9, 10 Rhuf. 11,
llawr dyrnu, felly y derchefwch hithe. 16
21 [f] O ddechreu eich toes y * rhoddwch i'r Ezec. 44, 30
Arglwydd offrwm derchafel drwy eich cenhedl- Ex. 23, 19 Lef. 23,
aethau. 22 Pen 18, 26
22 [g] A phan * eloch tros y ffordd, ac na wnel- 1 Cor. 5, 7
och yr holl orchymynnion hyn, y rhai a lefarodd Deut. 13, 16
yr Arglwydd wrth Moses; f Neh 10, 37
23 Sef yr hyn oll a orchymynnodd yr Ar- Deut 8, 3
glwydd i chwi trwy law Moses, o'r dydd y Rhuf. 11, 16
gorchymynnodd yr Arglwydd, ac o hynny allan * Lef. 23, 14
trwy eich cenhedlaethau: g Adn 24, 30
24 [h] Yna bydded, * os allan o olwg y gynnull- * Lef. 4, 2
eidfa y gwnaed [dim] trwy anwybod, i'r holl h Lef. 4, 2 * Lef. 4, 13
gynnulleidfa ddarparu un bustach ieuangc yn a 4, 21
offrwm poeth, i [fod] yn arogl esmwyth i'r Ar- Heb 9, 11
glwydd, ai fwyd offrwm, ai ddiod offrwm wrth
y ddefod, ac un bwch geifr yn bech aberth.
25 A gwnaed yr offeiriad iawn tros holl gyn-
nulleidfa meibion Israel, a maddeuir iddynt:
canys anwybodaeth yw: a dygant eu hoffrym-
mau yn aberth tanllyd i'r Arglwydd, ai pech
aberth ger bron yr Arglwydd am eu hanwybod-
aeth.
26 [i] A maddeuir i holl gynnulleidfa meibion i Rhuf. 3, 29
Israel, ac i'r dieithr a ymdeithio yn eu mysc: ca- * Lef. 4, 27
nys [digwyddodd] i'r holl bobl trwy anwybod.
27 Ond * os un dyn a becha trwy amryfusedd,
yna offrymmed afr flwydd tros bechod.
28 A gwnaed yr offeiriad iawn ger bron yr
Arglwydd tros y dyn amryfusol, pan becho trwy
amryfusedd, gan wneuthur iawn trosto fel y
maddeuir iddo.
29 Yr hwn a aned o feibion Israel, a'r dieithr
a ymdeithio yn eu mysc, un gyfraith fydd i

chwi am wneuthur [pechod] trwy amryfusedd.
30 Ond y dyn a wnel bechod mewn rhyfyg, o
k 2 Bren. 19, 22 briodor neu o ddieithr, [k] cablu'r Arglwydd y
Act. 3, 23 mae, torrer ymmaith y dyn hwnnw o fysc ei bobl.
l Diar. 13, 13 31 [l] O herwydd mai gair yr Arglwydd a ddiys-
Marc 7, 9 tyrodd efe, a'i orchymyn a dorrodd efe, llwyr
Lef. 22, 9 dorrer ymmaith y dyn hwnnw, ei anwiredd
[sydd] ynddo.
32 Fel yr oedd meibion Israel yn y diffaethwch,
cawsant ŵr yn cynytta ar y dydd Sabboth.
33 A'r rhai a'i cawsant ef, a'i dugasant ef [sef]
y cynyttwr, at Moses, ac at Aaron, ac at yr holl
gynnulleidfa.
*Lef. 24, 12 34 A gosodasant ef * mewn dalfa, am nad
mEx. 31, 4 a 35, 2 oedd [m] hysbys beth a wneid iddo.
nEx 21, 12 35 [n] A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Act 7, 58 1Bren 21, 13 Lladder y gŵr yn farw, llabyddied yr holl gyn-
Heb. 13, 11. a 4, 1, 2, 3 nulleidfa ef â meini, o'r tu allan i'r gwerssyll.
36 A'r holl gynnulleidfa a'i dugasant ef i'r tu
allan i'r gwerssyll, ac a'i llabyddiasant ef â meini,
fel y bu efe farw, megis y gorchymynnodd yr
Arglwydd wrth Moses.
37 A llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth
Moses, gan ddywedyd,
38 Lefara wrth feibion Israel, a dywet wrth-
*Deut. 22, 12 ynt, * am wneuthur iddynt eddi ar [o] odre eu
Mat. 23, 5 dillad, drwy eu cenhedlaethau, a rhoddant
oDeut. 6, 8. a 11, 19 bleth o sidan glâs ar eddi y godre.
pMat 19, 17 39 [p] A bydded pan edrychoch chwi ar yr eddi,
Rhuf. 13, 14 yna gofio o honoch holl orchymynnion yr Ar-
Eph. 4, 24 glwydd, a'u gwneuthur hwynt: ac na chwiliwch
Pen 14, 36 yn ol eich calonnau eich hunain, nac yn ol eich
Preg 11, 9 llygaid eich hunain, y rhai yr ydych yn putteinio
1 Ioan 2, 16 ar eu hol.
Salm 106, 39 40 Fel y cofioch, ac y gwneloch fy holl orch-
Hos 2, 2, 9 ymynnion maufi, ac y byddoch yn sanctaidd
i'ch Duw.
qGen. 17, 7 41 [q] Myfi ydwyf yr Arglwydd eich Duw chwi,
yr hwn a'ch dygais chwi allan o dir yr Aipht i
fod i chwi yn Dduw: myfi [ydwyf] yr Arglwydd
eich Duw chwi.

## PEN. XVI.

*Gwrthryfel Corah, Dathan, ac Abiram, a'u cospedigaeth. 37 Beth a wnaed â'u thusserau hwynt. 41 Tuchan y bobl, a'u cospedigaeth.*

*Indas 16 Pen. 27, 3 YNA [meddwl] a gymmerodd Corah * mab
Eccl. 45, 18. Isaar, mab Cehath, mab Lefi, a Dathan ac
rPen. 26, 8. a 2, 10 Abiram meibion Eliab, [r] ac On mab Peleth mab
Ruben.
2 A chodasant o flaen Moses, ynghyd a dau
cant, a dec a deugain o wŷr [eraill] o feibion
*Pen. 26, 9. Israel: pennaethiaid y gynnulleidfa, * pendefig-
ion y gymmanfa, gwŷr enwoc.
s Adn. 5 3 [s] Ac ymgasclasant yn erbyn Moses ac Aaron,
a dywedasant wrthynt: digon i chwi [hyn] canys
yr holl gynnulleidfa [sydd] sanctaidd bob un o
honynt, ac y [mae'r] Arglwydd yn eu mysc: paham
yr ymgodwch goruwch cynnulleidfa'r Arglwydd?
4 [t] A phan glybu Moses, efe a syrthiodd ar ei tPen 14, 5
wyneb.
5 [u] A llefarodd wrth Corah, ac wrth ei holl gyn- uSal. 1, 6
nulleidfa ef, gan ddywedyd, Y boreu y dengys 2 Tim. 2, 19
yr Arglwydd yr hwn [sydd] eiddo ef, a'r sanct- Sal. 106, 16
aidd, a [phwy] a ddylu nessau atto ef: canys yr 1 Pedr 2, 5 Sal. 65, 4
hwn a ddewisodd efe a nessâ efe atto. Eph. 2, 18
6 Hyn a wnewch, cymmerwch i chwi [sef]
Corah ai holl gynnulleidfa [v] thusserau: vHeb 9, 4
7 A rhoddwch ynddynt dân, a gosodwch ar-
nynt arogl-darth y foru ger bron yr Arglwydd:
yna [w] bydd i'r gŵr hwnnw fod yn sanctaidd yr w 1 Bren. 18, 21
hwn a ddewiso'r Arglwydd: digon i chwi [hyn] Adn. 46, 47, 48
meibion Lefi. Lef. 16, 12, 13
8 A dywedodd Moses wrth Corah, Gwran- 1 Pedr 2, 5
dewch attolwg meibion Lefi: Heb 13, 15
9 [x] Ai bychan gennych naillduo o Dduw Isra- 1 Bren 12, 17
el chwi oddi wrth gynnulleidfa Israel? gan eich x Pen. 3, 41
nessau chwi atto ei hun, i wasanaethu gwasan- 1 Sam. 18, 23
aeth tabernacl yr Arglwydd, ac i sefyll ger bron Lef 20, 26
y gynnulleidfa i'w gwasanaethu hwynt. Rhuf. 1, 1
10 Canys efe a'th nessaodd di, a'th holl frodyr Act. 13, 2 Gal. 1, 15
di meibion Lefi gyd a thi: ac a geisiwch chwi yr Pen 8, 11
offeiriadaeth hefyd? Neh. 13, 44
11 [y] Am hynny dydi, a'th holl gynnulleidfa yd- Pen 18, 2, 3
ych yn ymgynnull yn erbyn yr Arglwydd: ond y 1 Sam. 7, 8
Aaron beth [yw] efe i chwi i duchan yn ei erbyn? 1 Cor. 3, 5
12 [z] A Moses a anfonodd i alw am Dathan, z Deut. 25, 9
ac Abiram meibion Eliab: hwythau a ddywed-
asant, Ni ddeuwn ni i fynu.
13 [a] Ai bychan [yw] dwyn o honot ti ni i fynu a Salm 55, 11
o dir yn llifeirio o laeth a mêl, i'n lladd ni yn y
diffaethwch: oddieithr hefyd arglwyddiaethu o
honot yn dost arnom ni?
14 [b] Etto ni ddygaist ni i dir yn llifeirio o laeth bEx. 3, 8
a mêl, ac ni roddaist i ni feddiant [mewn] maes
na gwin-llan: a dynni di lygaid y gwŷr hyn?
ni ddeuwn ni i fynu ddim.
15 Yna y digiodd Moses yn ddirfawr, ac y cPen. 16, 3
dywedodd wrth yr Arglwydd, * Nac edrych ar *Gen. 4, 24
eu bwyd offrwm hwynt: ni chymmerais un assyn 1 Sam. 12, 3
ganddynt, ac ni ddrygais un o honynt.
16 A dywedodd Moses wrth Corah, Bydd di
a'th holl gynnulleidfa ger bron yr Arglwydd: ti a
hwynt, ac Aaron [hefyd] y foru.
17 A chymmerwch hefyd bob un ei thusser, a
rhoddwch arnynt arogl-darth, a dyged pob un
ei thusser ger bron yr Arglwydd, [sef] dau cant,
a dec a deugain o thusserau: [dwg] dithe hefyd
ac Aaron bob un ei thusser.
18 A chymmerasant bob un ei thusser, a dPen 14, 1
rhoddasant dân ynddynt, a gosodasant arogl- Ex. 19, 4 Dat. 15, 3, 4
darth arnynt, a safasant [wrth] ddrws pabell y Pen. 12, 5 a 14, 10
cyfarfod yng-hyd a Moses ac Aaron. Adn. 38
19 Yna Cora a gasclodd yr holl gynnulleidfa
yn eu herbyn hwynt i ddrws pabell y cyfarfod:

a gogoniant yr Arglwydd a ymddangosodd i'r
holl gynnulleidfa.
20 Yna y llefarodd yr Arglwydd wrth Mo-
ses, ac wrth Aaron, gan ddywedyd:
e Gen. 19, 15 21 e Ymneilltuwch o fysc y gynnulleidfa hon,
Dat. 18, 4 a mi ai difaf hwynt ar unwaith.
Act. 2, 40 Ex. 33, 5 22 f Yna y syrthiasant ar eu hwynebau, ac a
Adn. 45, Iob 12, 18 ddywedasant, O Dduw, Duw yr ysprydion,
Dan 4, 30, 31 [Duw] pob cnawd, un dyn a bechodd, ac a
f Zec 12, 1 ddigi di wrth yr holl gynnulleidfa?
Iob 12, 10 Gen 6, 13, 23 Yna y llefarodd yr Arglwydd wrth Moses
Esay 40, 5 gan ddywedyd:
Ioel 2, 28 Adn. 1, 4 24 Llefara wrth y gynnulleidfa, gan ddywedyd,
Ewch o amgylch pabell Corah, Dathan, ac Abiram
25 g Yna y cyfododd Moses ac a aeth tu ac at
g 1 Pedr 5, 3 Dathan, ac Abiram: a henuriaid Israel a aeth-
Heb. 13, 7 ant ar ei ol ef.
26 h Ac efe a lefarodd wrth y gynnulleidfa, gan
h 2 Cor. 6, 17 ddywedyd, Ciliwch attolwg oddi wrth bebyll y
Dat. 18, 4 dynion drygionus hyn, ac na chyffyrddwch a
dim a'r [sydd] eiddynt, rhag eich difetha yn eu
holl bechodau hwynt.
27 i Yna yr aethant oddi wrth babell Corah,
i Diar. 16, 18 Dathan, ac Abiram o amgylch: a Dathan ac
Iob 33, 5 [illegible] 41, 10 Abiram, eu gwragedd hefyd, ai meibion, ai
plant, a ddaethant allan gan sefyll [wrth] ddrws
eu pebyll.
28 j A dywedodd Moses, Wrth hyn y cewch
j Ezec. 13, 17 wybod mai yr Arglwydd a'm hanfonodd i wneu-
thur yr holl weithredoedd hyn, [ac] nad o'm
meddwl fy hun [y gwnethum] ddim.
29 Os bydd y rhai hyn feirw fel y bydd marw
pob dyn, ac [os] ymwelir a hwynt ag ymwel-
ediad pob dŷn, nid yr Arglwydd a'm hanfon-
odd i.
30 k Ond os yr Arglwydd a wna ryfeddod fel
k Esa 45, 7 yr agoro y ddaiar ei safn ai llyngcu hwynt, a'r
Iob 21, 13 hyn oll [sydd] eiddynt fel y descynnant yn fyw
Sal. 106, 17 i uffern, yna y cewch wybod ddirmygu o'r gwŷr
Deut. 11, 6 hyn yr Arglwydd.
31 A bu wrth orphen o honaw lefaru yr holl
eiriau hyn, hollti o'r ddaiar yr hon [oedd] tanynt.
l Diar 11, 4 32 Agorodd y ddaiar hefyd ei safn: l a llyngc-
Pen. 26, 11 odd hwynt, ai tai hefyd, a'r holl ddynion y rhai
[oeddynt] gan Corah, a'r holl gyfoeth.
33 m Felly hwynt a'r rhai oll a'r a [oeddynt] gyd
m Sal. 96, 15 a hwynt a ddescynnasant yn fyw i uffern: a'r
ddaiar a gaeodd arnynt: a chollasant o blith
y gynnulleidfa.
34 n Yna holl Israel y rhai [oeddynt] oi ham-
n Ier. 49, 21 gylch hwynt, a ffoasant wrth eu llef hwynt: ca-
Diar. 21, 11 nys dywedasant, [Ciliwn] rhag i'r ddaiar eu
llyngcu ninnau.
35 o Tân hefyd aeth allan oddi wrth yr Ar-
o Lef. 10, 1 Sal. 106, glwydd, ac a ddifaodd y dau cant, a'r dec a
17, 18 Adn. 2, deugain o wŷr, y rhai oeddynt yn offrymmu yr
17, 18 arogl-darth.

36 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses,
gan ddywedyd,
37 p Dywet wrth Eleazer fab Aaron yr offeir-
iad, am godi o honaw ef y thusserau o fysc y p Dat. [illegible]
llosc, a gwasgaru y tân oddi yno allan, canys
sanctaidd ydynt.
38 q Sef thusserau y rhai hyn a bechasant yn
erbyn eu heneidiau eu hun: a gweithier hwynt q 1 Sa[m] 15, 18
yn ddalennau llyden [i fod] yn gaead i'r allor: Gen. 13
canys offrymmasant hwy ger bron yr Arglwydd, Diar 2[illegible]
am hynny sanctaidd ydynt, a byddant yn ar- 1 Bren. 13
wydd i feibion Israel. Pen. 17
39 A chymmerodd Eleazar yr offeiriad thus- Ezec [illegible] 1 Cor. [illegible] 11
serau prês y rhai a offrymmase y [gwŷr] a losc- Adn.
asid, ac estynwyd hwynt yn gaead i'r allor. 2 Pedr [illegible]
40 r Ac yn goffadwriaeth i feibion Israel, fel
na nessae gwr dieithr (yr hwn ni bydde o hâd r Pen 1[illegible]
Aaron) i losci arogl-darth ger bron yr Arglwydd, Deut. [illegible] 6
ac na bydde fel Corah ai gynnulleidfa, megis
y llefarase yr Arglwydd trwy law Moses wrtho ef.
41 s A holl gynnulleidfa meibion Israel a s 2 Sam 6, 7
duchanasant drannoeth yn erbyn Moses, ac yn 2 Cro[n] 26, 18
erbyn Aaron, gan ddywedyd: Chwi a laddasoch Adn. [illegible] 30
bobl yr Arglwydd. Iudas
42 t A bu pan gynhullodd y bobl yn erbyn t Sal. [illegible] 15
Moses ac Aaron, edrych o honynt ar babell y Sal. 10[illegible]
cyfarfod, ac wele toase y niwl hi, ac ymddang- Esa 28 u Pen. 6
osodd gogoniant yr Arglwydd.
43 Yna y daeth Moses ac Aaron o flaen pa-
bell y cyfarfod.
44 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan
ddywedyd,
45 v Ciliwch o blith y gynnulleidfa hon, a mi
ai difâf hwynt yn ddisymmwyth: yna y syrthias-
ant ar eu hwynebau. v Adn. [illegible] 31
46 w Dywedodd Moses hefyd wrth Aaron, 1 Cro[n] 21, 16
Cymmer thusser a dod dân oddi ar yr allor yn- Adn.
ddi, a gosot arogl-darth [arni,] a dos yn fuan at w Dat[illegible] Rhuf. 11
y gynnulleidfa, a gwna iawn trostynt: canys dig-
ofaint aeth allan oddi ger bron 'r Arglwydd,
dechreuodd y blâ.
47 x A chymmerodd Aaron megis y llefarodd
Moses, ac a redodd i ganol y gynnulleidfa, ac x De[ut] 33, 10,
wele dechreuase y blâ ar y bobl, ac efe a rodd Esa. 53
arogl-darth, ac a wnaeth iawn tros y bobl.
48 y Ac efe a safodd rhwng y meirw a'r byw,
felly yr attaliwyd y blâ. y Pre[g] 4, 5, 6
49 z A'r rhai a fuant feirw o'r blâ oeddynt Esa. 38
bedair mil ar ddec, a saith gant, heb law y Iago 5 1 Ioan 14
rhai a fuant feirw yn achos Corah. z 2 Sa[m] 24, 25
50 A dychwelodd Aaron at Moses i ddrws 1 Cron 26
pabell y cyfarfod: a'r blâ a attaliwyd.

## PEN. XVII.

*Gwialen Aaron yn blaguro, blodeuo. ac yn ffrwytho, i sicrhau ei alwedigaeth ef.*

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,

a Sal 112, 8, 5, 4 — 2 Llefara wrth feibion Israel, a chymmer ganddynt wialen, am bob tŷ tad [sef] gan bob un oi pennaethiaid, tros dŷ eu tadau, deuddec gwialeu: scrifenna henw pob un ar ei wialen.

b Pen. 20, 8. Heb. 9, 4. Ex. 6, 16. Pen. 3, 2, 3 a 8, 1 7 — 3 ᵇ Ac scrifenna henw Aaron ar wialen Lefi: canys un wialen [fydd] dros [bob] pennaeth tŷ eu tadau.

c Ex. 25, 16. *Ex. 25, 22. a 30, 36 — 4 ᶜ A gâd hwynt ym mhabell y cyfarfod, ger bron y destiolaeth * lle y cyfarfyddaf a chwi.

d Deut. 33, 11. Adn. 8. Esay 9, 7. Sal. 132, 8 — 5 ᵈ A gwialen y gŵr a ddewiswyf a flodena: a gwnaf i furmur meibion Israel y rhai y maent yn murmurio i'ch erbyn beidio a mi.

6 Felly y llefarodd Moses wrth feibion Israel, a'i holl bennaethiaid a roddasant atto wialen tros bob pennaeth yn ol tŷ eu tadau, [sef] deuddec gwialen: a gwialen Aaron [oedd] ynghanol eu gwiail hwynt.

7 A Moses a adawodd y gwiail ger bron yr Arglwydd ym mhabell y destiolaeth.

e Gen. 40, 10. Ezec. 17, 24. Preg 12, 5. Ier. 1, 11 — 8 ᵉ A thrannoeth y daeth Moses i babell y destiolaeth: ac wele gwialen Aaron a flagurase tros dŷ Lefi, ïe bwriase flagur, a blodeuase, ac a addfedase almonau.

f 1 Bren. 8, 9 — 9 ᶠ Yna y dug Moses allan yr holl wiail oddi ger bron yr Arglwydd, at holl feibion Israel: hwythau a edrychasant, ac a gymmerasant bob un ei wialen ei hun.

g Ex. 16, 32. *Heb. 9, 4 — 10 ᵍ A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, * Dod wialen Aaron drachefn ger bron y destiolaeth i'w chadw yn arwydd i'r meibion gwrthryfelgar: fel y gwnelech i'w tuchan hwynt beidio a mi, ac na byddant feirw.

11 A gwnaeth Moses fel y gorchymynnodd yr Arglwydd iddo, felly y gwnaeth efe.

h Rhuf. 7, 9, 10. Adn. 5 — 12 ʰ Yna meibion Israel a lefarasant wrth Moses, gan ddywedyd, Wele ni yn trengu, darfu am danom, darfu am danom ni oll.

i Salm 85, 5, 6. Esa. 64, 12 — 13 ⁱ Bydd farw pob un gan nessau a nessao i dabernacl yr Arglwydd: a orphennwn ni drengu?

## PEN. XVIII.

*Duw yn dangos i'r offeiriaid ac i'r Lefiaid eu swyddau, a phabeth a gaent i fyw arno. 26 Ac yn gorchymyn iddynt dalu decfed eu degwm.*

j Pen. 17, 13. Heb. 7, 15. Lef. 5, 1 — A ʲDywedodd yr Arglwydd wrth Aaron, Tydi a'th feibion a thylwyth dy dad gyd a thi a ddygwch anwiredd y cyssegr: a thi a'th feibion gyd a thi a ddygwch anwiredd eich offeiriadaeth.

k Gen. 29, 34. Esa. 56, 3, 6. Pen. 16, 9. 2 Cron. 30, 16. l Pen. 3, 7, 8 — 2 ᵏ A dwg hefyd gyd a thi dy frodyr [o] lwyth Lefi, [sef] llwyth dy dad, i lynu wrthit ti, ac i'th wasanaethu: tithe a'th feibion gyd a thi [a wasanaethwch] ger bron pabell y destiolaeth.

3 ˡ A hwy a orchwyliant drosot ti yng-orchwyliaeth yr holl babell, ond na ddeuant yn agos at ddodrefn y cyssegr, nac at yr allor, rhac eu marw hwynt a chwithau hefyd.

m Salm 134, 1. Pen 3, 10 — 4 ᵐ Ond hwy a lynant wrthit, ac a orchwyliant babell y cyfarfod yn holl wasanaeth y babell: ac na ddeued dieithr yn agos attoch.

n Heb. 9, 2, 3. Pen. 16, 46. Lef. 10, 2. *Pen. 3, 12 — 5 ⁿ Eithr cedwch chwi orchwyliaeth y cyssegr, a gorchwyliaeth yr allor fel na byddo digofaint mwy yn erbyn meibion Israel.

6 Ac wele mi a * gymmerais dy frodyr di y Lefiaid o fysc meibion Israel y rhai a roddwyd i'r Arglwydd megis yn rhodd o'r eiddo chwi, i wasanaethu gwasanaeth pabell y cyfarfod.

o Heb. 5, 3, 6. Ex. 29, 9. Esa. 61, 6. Rhuf. 5, 20. a 8, 9. Pen. 16, 40 — 7 ᵒ Tithe a'th feibion gyd a thi a gedwch eich offeiriadaeth, ac a wasanaethwch yng hylch pob peth [a berthyn] i'r allor, ac o fewn y llen wahan: yn wasanaeth rhodd y rhoddais eich offeiriadaeth i chwi, a'r dieithr yr hwn a ddelo yn agos a leddir.

p 1 Cor. 9, 13. Lef. 6, 16. a 7, 10 — 8 ᵖ A llefarodd yr Arglwydd wrth Aaron, Wele mi a roddais i ti hefyd orchwyliaeth fy offrymmau derchafel, o holl bethau sanctaidd meibion Israel: rhoddais hwynt i ti, o herwydd yr eneiniad, ac i'th feibion yn ddeddf dragywyddol.

q Lef. 2, 3. r Lef. 6, 2 — 9 ᑫ Hyn fydd i ti o'r sancteidd-beth cyssegredic [yr hwn a gedwir allan] o'r tân: [sef] eu holl offrymmau, y rhai a dalant i mi yn eu holl ʳ fwyd offrwm, ac yn eu holl aberthau tros bechod, ac yn eu holl aberthau tros gamwedd: sancteidd-beth cyssegredic [yw] hyn i ti, ac i'th feibion.

s Ex. 29, 37. Heb. 13, 10. Neh. 10, 35. 5, 9. 1 Cor. 9, 13. 1 Pedr 2, 5 — 10 ˢ O fewn y cyssegr sancteiddiolaf y bwyttei ef, pob gwryw ai bwyttu ef: cyssegredic fydd efe i ti.

t Adn. 11. 13, 19. Lef. 7, 11. Lef. 7, 34. Lef. 22, 12, 13 — 11 ᵗ Hyn hefyd [fydd] i ti, offrwm derchafel eu rhoddion hwynt, yng-hyd a holl offrymmau cwhwfan meibion Israel, i ti y rhoddais hwynt, ac i'th feibion, ac i'th ferched gyd a thi yn ddeddf dragywyddol: pob un glân yn dy dŷ a gaiff ei fwytta.

u Neh. 10, 35 — 12 ᵘ Holl fraster olew, a holl fraster gwîn ac ŷd, [sef] eu blaenffrwyth hwynt, yr hwn a roddant i'r Arglwydd a roddais i ti.

v Lef. 2, 3 — 13 ᵛ Blaen-ffrwyth pob dim yr hwn [fydd] yn eu tir hwynt, yr hwn a ddygant i'r Arglwydd fydd eiddo ti: pob un glân yn dy dŷ a'i bwyttu.

w Lef. 27, 28 — 14 ʷ Pob diofryd beth yn Israel fydd eiddo ti.

*Ex. 13, 2. 1 Pedr 1, 18. Lef. 27, 26. Pen. 3, 13. Lef. 1, 13 — 15 * Pob agorydd croth o bob cnawd yr hwn a offrymmir i'r Arglwydd, o ddyn ac o anifail fydd eiddo ti, ond gan brynu y pryni bob cyntafanedic i ddyn, a phryn y cyntafanedic i'r anifail aflan.

x Lef. 27, 6. Ex. 30, 13. Deut. 18, 19 — 16 A phar ˣ brynu y rhai a bryner o honynt o fab misyriad yn dy bris di, [sef] pump sicl o arian wrth sicl y cyssegr: ugain gerah [yw] hynny

17 Ond na phryn y cyntafanedic o eidion, neu gyntafanedic dafad, neu gyntafanedic gafr, sanctaidd ydynt: eu gwaed a daenelli ar yr allor, ai gwêr a losci yn aberth tanllyd o arogl esmwyth i'r Arglwydd:

*Ex. 29, Lef. 7, Mal. 1, 2 Cron 31, 4. Neh. 13, 5. 2 Cron. 13, 5 — 18 Ond eu cig fydd eiddo ti, fel parwyden y cwhwfan, ac * fel yr ysgwyddoc ddehau y bydd efe eiddo ti.

19 ʸ Holl offrymmau derchafel [y pethau]

sanctaidd y rhai a dderchafa meibion Israel i'r
Arglwydd a roddais i ti, ac i'th feibion, ac i'th
ferched gyd a thi yn ddeddf dragywyddol: cy-
fammod halen tragywyddol fydd hyn ger bron
yr Arglwydd i ti, ac i'th hâd gyd a thi.
20 [z] A dywedodd yr Arglwydd wrth Aaron,
Na fydded i ti etifeddiaeth yn eu tir hwynt, ac na
fydded it ran yn eu mysg hwynt: * myfi [ydwyf]
dy * ran di a'th etifeddiaeth ym mysg meibion
Israel.
21 [b] Ac wele mi a roddais i feibion Lefi bob
degwm yn Israel yn etifeddiaeth am eu gwas-
anaeth, yr hwn y maent yn ei wasanaethu, sef
gwasanaeth pabell y cyfarfod.
22 [c] Ac na ddeued meibion Israel mwyach i
babell y cyfarfod, gan ddwyn pechod i farw.
23 [d] Ond gwasanaethed y Lefiaid eu hunain
wasanaeth pabell y cyfarfod, a dygant hwynt
eu hanwiredd eu hun, deddf dragywyddol [fydd
hyn] drwy eich oesoedd, nad etifeddant hwy
etifeddiaeth ym mysc meibion Israel.
24 [e] Canys degwm meibion Israel yr hwn a
dderchafant yn offrwm derchafel i'r Arglwydd
a roddais i'r Lefiaid yn etifeddiaeth: am hynny
dywedais wrthynt nad etifeddent etifeddiaeth
ym mysc meibion Israel.
25 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan
ddywedyd,
26 Llefara hefyd wrth y Lefiaid a dywet wrth-
ynt, Pan gymmeroch gan feibion Israel y degwm
yr hwn a roddais i chwi yn etifeddiaeth oddi
wrthynt, yna derchefwch o hynny offrwm der-
chafel i'r Arglwydd [sef] degwm o'r degwm.
27 [f] A chyfrifir i chwi eich offrwm derchafel fel
ŷd o'r yscubor, ac fel cyflawndra o'r gwinwryf.
28 [g] Felly y derchefwch chwithau hefyd offrwm
derchafel yr Arglwydd o'ch holl ddegymmau y
rhai a gymmeroch gan feibion Israel, a rhodd-
wch o hynny dderchafel offrwm yr Arglwydd i
Aaron yr offeiriad.
29 [h] O'ch holl roddion derchefwch bob offrwm
derchafel yr Arglwydd [sef] oi holl frasder ef
[offrymmwch] ei ran sanctaidd o honaw ef.
30 A dywet wrthynt, Pan dderchafoch chwi ei
fraster allan o honaw, cyfrifir i'r Lefiaid fel
toreth yr yscubor, a thoreth y gwin-wryf.
31 [i] A bwyttewch ef ym mhob lle, chwi a'ch
ty-lwyth: canys gwobr yw efe i chwi am eich
gwasanaeth ym mhabell y cyfarfod.
32 [j] Ac ni ddygwch bechod oi herwydd pan
dderchafoch ei fraster o honaw: na halogwch
chwithau bethau sanctaidd meibion Israel, fel na
byddoch feirw.

## PEN. XIX.

*Am y fuwch goch, a dwfr y neilltuaeth. 14 Am un a fyddo marw mewn pabell, 16 Ac am gyffwrdd a pheth aflan.*

LLEFARODD [k] yr Arglwydd hefyd wrth
Moses, ac wrth Aaron, gan ddywedyd,
2 [l] Dymma ddeddf y gyfraith yr hon a orchym-
ynnodd yr Arglwydd gan ddywedyd: Llefara
wrth feibion Israel am ddwyn o honynt attat
anner goch berffaith-gwbl yr hon ni byddo anaf
arni, ac nid aeth iau arni.
3 [m] A rhoddwch hi at Eleazar yr offeiriad, a
phared efe ei dwyn hi o'r * tu allan i'r gwerssyll,
a lladded [un] hi ger ei fron ef.
4 [n] A chymmered Eleazar yr offeiriad [beth]
oi gwaed hi * ar ei fŷs, a thaenelled oi gwaed
hi, ar gyfer wyneb * pabell y cyfarfod saith waith.
5 A llosced [un] yr anner yn ei olwg ef, ei
chroen * ai chîg, ai gwaed yng-hyd ai biswel a
lysc efe.
6 [p] A chymmered yr offeiriad bren cedr, ac ys-
sop, ac scarlat, a bwried i ganol lloscfa yr anner.
7 [q] A golched yr offeiriad ei wiscoedd, trochod
hefyd ei gnawd mewn dwfr, ac wedi hynny deu-
ed i'r gwerssyll, ac aflan fydd yr offeiriad hyd
yr hwyr.
8 Felly golched yr hwn a'i llosco hi ei ddillad
mewn dwfr, a golched hefyd ei gnawd mewn
dwfr, ac aflan fydd hyd yr hwyr.
9 [r] A chascled un glân ludw'r anner, a gadaw-
ed o'r tu allan i'r gwerssyll mewn lle glân: a
bydded gan gynnulleidfa meibion Israel yng-
hadw yn * ddwfr neilltuaeth: pech-aberth yw.
10 Yna golched yr hwn a gasclo ludw yr an-
ner ei ddillad, aflan fydd hyd yr hwyr, a bydded
hyn i feibion Israel ac i'r dieithr a ymdeithio yn
eu mysc hwynt yn ddeddf dragywyddol.
11 [s] A gyffyrddo a marw [sef] wrth un gelain
dŷn, aflan fydd saith niwrnod.
12 [t] Ymlanhaed trwy [y dwfr] hwnnw y try-
dydd dydd, a'r seithfed dydd glân fydd: ac os
y trydydd dydd nid ymlanha efe, yna ni bydd
efe lân y seithfed dydd.
13 [u] Pob un a gyffyrddo ag un marw [sef]
wrth gelain dyn yr hwn fyddo wedi marw, ac
nid ymlanhâ, efe fydd un yn halogi tabernacl yr
Arglwydd: a thorrir ymaith yr enaid hwnnw
oddi wrth Israel, am na thaenellodd ddwfr
neilltuaeth arno, aflan fydd efe, ei aflendid
[sydd] ynddo etto.
14 Dymma gyfraith dyn pan fyddo marw
mewn pabell, pob un a ddelo i'r babell, a phob un
a [fyddo] yn y babell fydd aflan saith niwrnod.
15 [v] A phob llestr agored yr hwn ni byddo
cadach wedi ei rwymo drosto aflan [yw] efe.
16 [w] Pob un hefyd a gyffyrddo ar wyneb y
maes wrth un wedi ei ladd a chleddyf, neu
wrth un marw, neu wrth ascwrn dŷn, neu wrth
fedd, a fydd yn aflan saith niwrnod.
17 [x] Am hynny cymmerant tros yr aflan o
ludw llosc yr offrwm tros bechod, a rhodded

atto ddwfr rhedegoc mewn llestr.
x Pen. 31, 23 18 [x] A chymmered yssop a golched un dihalogedic [ef] mewn dwfr, a thaenelled ar y babell,
ac ar yr holl lestri, ac ar yr holl ddynion y rhai a
fyddant yno, ac ar yr hwn a gyffyrddodd wrth
ascwrn, neu wrth un wedi ei ladd, neu wrth un
wedi marw, neu wrth fedd.
y Esa. 52, 15 19 [y] A thaenelled y glân ar yr aflan y trydydd
1 Cor 15,4 dydd, a'r seithfed dydd, ac ymlanhaed efe y
Ex. 12, 15 Heb 4, 9 seithfed dydd, yna golched ei ddillad, ac ymolch-
Lef. 15, 5 ed mewn dwfr, a glân fydd yn yr hwyr.
z Pen. 5, 2 20 [z] Ond y gwr yr hwn a halogir, ac nid ymlanhâ, torrir yr enaid hwnnw o fysc y
gynnulleidfa: canys efe a halogodd gyssegr yr
Arglwydd, ni thaenellwyd arno ddwfr y naill-
tuaeth, aflan [yw] efe.
a Heb. 9, 13 21 [a] A bydd iddynt yn ddeddf dragywyddol,
y golch yr hwn a daenello dwfr y naill-tuaeth ei
ddillad: ac y bydd yr hwn a gyffyrddo a dwfr y
naill-tuaeth aflan hyd yr hwyr.
b Rhuf. 6, 4 22 [b] A'r hyn oll a gyffyrddo'r aflan ag ef fydd
aflan: a'r dyn a gyffyrddo [a hynny] fydd aflan
hyd yr hwyr.

## PEN. XX.

*Miriam yn marw. 2 Y bobl yn tuchan am ddwfr. 6 Moses ac Aaron yn cael dwfr iddynt o'r graig. 12 Cospedigaeth Moses ac Aaron am eu petrusedd. 14 Edom yn naccau Israel o ffordd trwy ei wlad. 23 Marwolaeth Aaron, a dewisiad Eleazar yn ei le ef.*

c Pen. 14, 29. a 13, 21 a 20, 26 A [c] MEIBION Israel [sef] yr holl gynnulleidfa a ddaethant i * anialwch Zin yn y
* Pen. 33, 36 mis cyntaf, ac arhodd y bobl yn [d] Cades, yno
d Pen. 14, 25 hefyd y bu farw Miriam, ac yno y claddwyd hi.
Ex. 15, 20 2 [e] Ac nid oedd dwfr i'r gynnulleidfa, yna yr
e Ex. 17, 1 Ex. 17, 2 ymgasclasant yn erbyn Moses ac Aaron.
Pen. 11, 29 3 Ac ymgynhennodd y bobl â Moses, a llefar-
a 16, 49. asant gan ddywedyd, O na buasem feirw * pan
* Pen 11, 33 fu feirw ein brodyr ger bron yr Arglwydd.
4 Paham y dugasoch gynnulleidfa'r Arglwydd
i'r anialwch hwn? i farw o honom ni ac o'n hanifeiliaid ynddo?
5 A phaham y dugasoch ni i fynu o'r Aipht?
i'n dwyn ni i'r lle drwg ymma? lle heb had na
ffigus-bren, na gwinwydden, na phomgranadbren, ac heb ddwfr i yfed.
f Dat. 12, 14 6 [f] Yna y daeth Moses ac Aaron oddi ger bron
Pen. 16, 4 y gynnulleidfa i ddrws pabell y cyfarfod, ac a
a 16, 5 syrthiasant ar eu hwynebau, a gogoniant yr Arglwydd a ymddangosodd iddynt.
g Ex. 17, 5 Adn. 10, 11 7 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses hefyd,
Sal. 78, 15 gan ddywedyd,
a 105, 41 8 [g] Cymmer * y wialen a chascl y gynnulleidfa:
Neh 9, 15, 20 ti ac Aaron dy frawd, ac yn eu gwydd hwynt
* Pen 17, 7 llefarwch wrth y graig, a hi a rydd ei dwfr; a
Ex. 16, 33 h Adn. 8, thynn dithe iddynt ddwfr o'r graig, a dioda y
Salm 106, 33 gynnulleidfa ai hanifeiliaid.
Pen. 11, 22, 23 9 [h] Yna Moses a gymmerodd y wialen, oddi
Adn. 8 * Sal 78, 15 ger bron yr Arglwydd, megis y gorchymynnasei
efe iddo.
10 Yna Moses ac Aaron a gynnullasant y dyrfa o flaen y graig: a dywedodd [Moses] wrthynt: Gwrandewch yn awr chwi wrthryfel-wyr,
ai o'r graig hon y tynnwn i chwi ddwfr?
11 [i] A * chododd Moses ei law, a tharawodd Esa. 48, 21
y graig ddwywaith ai wialen: a daeth dwfr lawer 1 Cor 10, 4
allan, a'r gynnulleidfa a yfodd, a'i hanifeiliaid. Esay 43, 20
12 [j] A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, j Pen. 27, 14
ac wrth Aaron, Am na chredasoch i mi, i'm sanc- Lef. 10, 3
teiddio yng-wydd meibion Israel, am hynny ni Pen 11, 5 Deut. 3,
ddygwch y dyrfa hon i'r tir yr hwn a roddais 23
iddynt.
13 [k] Dymma ddyfroedd y gynnen, lle yr ym- k Sal. 81, 35
gynnhenodd meibion Israel â'r Arglwydd; ac y
sancteiddiwyd ef ynddynt.
14 [l] Yna yr anfonodd Moses gennadau o Cades l Gen. 36, 30
at frenin Edom: fel hyn y dywed Israel dy
frawd, Ti a wyddost yr holl flinder a gawsom ni.
15 [m] Pa wedd yr aeth ein tadau i wared i'r m Gen. 46, 6
Aipht, ac yr arhosasom yn yr Aipht lawer oddy- Ex. 12, 40
ddiau, ac y dygodd yr Aiphtiaid ni, a'n tadau.
16 [n] A ni a waeddasom ar yr Arglwydd, ac n Ex. 3:
efe a glybu ein llef ni, ac a anfonodd angel, ac
a'n dug ni allan o'r Aipht: ac wele ni yn Cades,
dinas [ar] gwr dy ardal di.
17 [o] Attolwg gad i ni fyned trwy dy dir, nid o Deut. 2, 8
awn trwy faes, na gwin-llan, ac nid yfwn ddwfr
[un] ffynnon: ffordd y brenin a gerddwn, ni
throiwn ar y llaw ddehau, nac ar y llaw asswy,
nes i ni fyned trwy dy fro.
18 A dywedodd Edom wrtho, Na thyret heibio i mi rhac im ddyfod a'r cleddyf i'th gyfarfod. p Deut. 2, 6, 7
19 Yna meibion Israel a ddywedasant wrtho,
Rhyd y briffordd yr awn i fynu: ac os myfi neu
fy anifeiliaid a yfwn o'th ddwfr di, [p] rhoddaf ei
werth ef, yn unic ar fy nhraed yr âf trwodd yn
ddiniwed.
20 Yntefa ddywedodd, Ni chei fyned trwodd:
a daeth Edom allan i gyfarfod ag ef, a phobl
lawer, ac a llaw gref.
21 [q] Felly Edom a naccaodd roddi ffordd i q Barn 11, 18
Israel trwy ei fro, yna Israel a drodd oddi wrtho. Deut. 2, 5
22 A meibion Israel [sef] yr holl gynnulleidfa a gychwnnasant * o Cades, ac a ddaethant i * Pen 33, 37
fynydd Hor.
23 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses ac
Aaron ym mynydd Hor, ar derfyn tir Edom,
gan ddywedyd,
24 [r] Aaron a gesclir at ei bobl, ac ni ddaw i'r r Heb. 12, 23
tir yr hwn a roddais i feibion Israel, am i chwi Esa. 57, 1
anufuddhau i'm gair wrth ddwfr y gynnen. Act 13, 36
25 Cymmer Aaron ac Eleazar ei fab, a dwg * Pen. 33, 38
hwynt i fynydd Hor. Deut. 32, 50
26 [s] A diosc ei wiscoedd oddi am Aaron, a s Ex. 29, 18
gwisc hwynt am Eleazar ei fab ef: canys Aaron Heb 7, 11
a gesclir, ac a fydd farw yno. Esa. 57, 1

27 A' gwnaeth Moses megis y gorchymyn-
nodd yr Arglwydd, ac aethant i fynydd Hor,
yng-wydd yr holl gynnulleidfa.
t2Cor. 5, 13 28 ᵗ A dioscedd Moses oddi am Aaron ei
Iob 19, 9, wiscoedd, ac ai gwiscodd hwynt am Eleazar ei
Pen 2,32 Heb. 10,1 fab, * a bu farw Aaron yno ym mhen y mynydd:
Ier. 33,10 a descynnodd Moses at Eleazar o'r mynydd.
Gen. 22,2 Luc. 23, 33 29 ᵘ A'r holl gynnulleidfa a welsant farw
Deut. 34, 1, 5 Aaron, a holl dŷ Israel a ŵylasant am Aaron
*Deut. 10 6, a 32,50 ddeng-nhiwrnod ar hugain.

## PEN. XXI.

uPen. 33, 38 *Israel yn gorchfygu Arad. 6 Seirph tanllyd. 10 Israel*
Gen. 50, 10 *yn cerdded rhagddo. 24 ac yn gorchfygu Sehon, ac Og.*

v Jos. 12, 14 A ᵛ BRENIN * Arad y Canaanead, pres-
*Pen 33, 40 swylydd y dehau, a glybu fod Israel yn
Pen. 14, 45 dyfod [rhyd] ffordd yr spiwyr, ac a ryfelodd yn
Pen. 31,12 erbyn Israel, ac a gaeth-gludodd gaeth-glud
oddi arno.
wGen. 28, 20 2 ʷ Yna yr addunodd Israel adduned i'r Ar-
Lef. 27,28 glwydd, ac a ddywedodd: Os gan roi y rhoddi
y bobl ymma yn fy llaw, yna mi a ddifrodaf eu
xSal. 10, 17 dinasoedd hwynt.
3 ˣ A gwrandawodd yr Arglwydd ar lais Is-
rael, ac a roddodd y Canaaneaid [yn ei law] ef,
ac efe ai difrododd hwynt, ai dinasoedd, ac a
† Difrod. alwodd henw y lle [hwnnw] † Horma.
yPen. 20, 8 4 ʸ A chychwnnasant o fynydd Hor, [rhyd]
Zec. 11,8 ffordd y môr coch, i amgylchu tir Edom: a chy-
Act. 14, 22 fyng ydoedd ar enaid y bobl, o herwydd y ffordd.
z Esa. 14, 11 5 ᶻ Yna y llefarodd y bobl yn erbyn Duw, ac
yn erbyn Moses, [gan ddywedyd:] Pa ham y du-
gasoch ni o'r Aipht i feirw yn yr anialwch? canys
*Pen 11, 5, 6 nid [oes] na bara na'dwfr? * a ffiaidd yw gan
ein henaid y bara gwael [hwn.]
aDeut. 8, 6 6 ᵃ Yna * yr anfonodd yr Arglwydd ym mysc
*Doeth. 16, 1 y bobl seirph tanllyd, a hwynt a frathasant y
1 Cor. 10, 11 bobl, a bu feirw o Israel bobl lawer.
b Sal. 78, 34 7 ᵇ A daeth y bobl at Moses, a dywedasant,
1 Sam 12, 19 Pechasom, canys llefarasom yn erbyn yr Ar-
1 Cor. 10, 9 glwydd, ac yn dy erbyn dithe, gweddia ar yr
c Ioan 3, 14 a 8, 28 Arglwydd ar yrru o honaw ef y seirph oddi wrth-
ym: a gweddiodd Moses tros y bobl.
8 ᶜ A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Gwna it [sarph] danllyd, a gosot ar bawl: a
phawb a frather, ac a edrycho ar honno fydd byw.
dEsec. 1, 7 9 ᵈ Felly y * gwnaeth Moses sarph brês, ac ai
*Ioan 3, 14 gosododd hi ar bawl: yna os brathe sarph ŵr ac
Ioan 1, 8 edrych o honaw ef ar y sarph brês, byw fydde.
Zec. 12,10 10 A meibion Israel * a gychwnnasant [oddi
yno,] ac a werssyllasant yn Oboth.
*Pen 33, 43 11 A chychwnnasant o Oboth, a gwerssyllas-
ant † yng-harneddau Abarim, yn yr anialwch yr
† Heb. m Ije-Abarim. hwn [oedd] ar gyfer Moab o [du] codiad haul.
Pen. 33, 44 12 ᵉ Cychwnnasant oddi yno, a gwerssyllsant
Gen. 19, 36 wrth afon Zared.

13 ᶠ Cychwnnasant oddi yno, a gwerssyllas- fBarn. 11, 18
ant wrth ryd Arnon, yr hon [sydd] yn yr anial-
wch yn dyfod allan o ardal yr Amoriaid: can-
ys Arnon [oedd] derfyn Moab, rhwng Moab a'r
Amoriaid.
14 ᵍ Am hynny y dywedir yn llyfr rhyfeloedd gAct. 17, 20
yr Arglwydd, Y peth a wnaeth efe yn y môr
coch, ac yn afonydd Arnon.
15 Ac [wrth] raiader yr afonydd, hwn a drei-
gla i breswylfa Ar, ac a bwyssa at derfyn Moab.
16 ʰ Ac oddi yno [r aethant] i Beer, honno hSal. 149,
[yw]'r ffynnon lle y dywedodd yr Arglwydd
wrth Moses, Cascl y bobl yng-hyd fel y rhodd-
wyf iddynt ddwfr.
17 ⁱ Yna y cânodd Israel y gân hon: Cyfot iIago 5,13
ffynnon, cenwch iddi.
18 ᵏ Ffynnon a gloddiodd tywysogion, [ac] a k Esa. 15, 8.
gloddiodd pennaethiaid y bobl yng-hyd a'r 2Cron 17 7, 8
deddfwr ai ffynn: ac o'r anialwch [yr aethant] i 1 Tim. 5, 17
Mathana.
19 Ac o Mathana i Nahaliel, ac o Nahaliel i Deut. 33, 21
Bamoth. Esa. 33, 22
20 Ac o Bamoth [yn] y dyffryn, yr hwn [sydd] Iago 4, 12
yng-wlad Moab, i ben y bryn, yr hwn sydd yn Gen. 49, 10
edrych tua yr diffaethwch. Pen. 17,2
21 ˡ Yna yr anfonodd Israel gennadau at Se- Sal. 23, 4 lDeut. 2, 26
hon brenin yr Amoriaid, gan ddywedyd:
22 ᵐ Gâd ti i mi fyned trwy dy dir, ni throiwn mDeut. 2 27
i faes, na gwinllan, nid yfwn ddwfr [un] ffynnon,
ar hyd ffordd y brenin y cerddwn, hyd onid
elom trwy dy fro.
23 ⁿ Ac ni rodd * Sehon i Israel ffordd trwy ei nBarn. 11 20
wlad, onid casclodd Sehon ei holl bobl, ac a *Deut. 4, 32, a 29,7
aeth allan yn erbyn Israel tua'r anialwch: ac Ios. 12, 2
efe a ddaeth i Iaza, ac a ymladdodd yn erbyn Ier. 28,41
Israel.
24 ᵒ A * tharawodd Israel ef a min y cleddyf, ac oBarn. 11 21
a orescynnodd ei dir ef, o Arnon hyd Iabboc, Deut. 2, 33
hyd at feibion Ammon: canys cadarn [oedd] *Sal. 135, 10, 11
terfyn meibion Ammon. Amos, 2, 9
25 A chymmerodd Israel yr holl ddinasoedd
hynny, a thrigodd Israel yn holl ddinasoedd yr pEsec. 17 2
Amoriaid, yn Hespon, ac yn ei holl bentrefydd. 2Cron. 7, 20
26 Canys dinas Sehon brenhin yr Amoriaid Barn. 11, 18
ydoedd Hespon, ac yntef a ryfelase yn erbyn qEsa. 17. 14
brenin Moab yr hwn a fuase o'r blaen, ac a ddug Amos 1, 7, 10
ei dir ef oddi arno hyd Arnon. Ier. 48, 45
27 ᵖ Am hynny y diarheb-wyr a ddywedant,
Deuwch i Hespon, adailader a chadarnhaer Dent. 2, 9, 18
dinas Sehon. Ier. 48,45
28 ᑫ Canys tân aeth allan o Hespon, [a] fflam r Ier. 48, 46
o dref Sehon: bwyttaodd Ar [ym] Moab, [a] 2Bren. 1, 33
pherchennogion Bamoth Arnon. Barn. 11. 24
29 ʳ Gwae di Moab, darfu am danat pobl Ce- Ier. 48,13 Esa. 16,12
mos, rhodd ei feibion diangol, ai ferched mewn Ier, 48, 7 1Cor. 8,4 Barn. 11 24

---

Pen. XX. adn. 28.] " Oddi am Aaron." Yr hanes hon a ddengys i ni, mai Duw Rhaglunieath sy'n gosod dynion mewn swyddau, ac yn eu troi allan: ac na ad Crist byth mo'i eglwys heb Arweinydd, a bod gwisg ei gyfiawnder yn parhau byth.

caethiwed i Sehon brenin yr Amoriaid.
tIer. 48, 45 30 ᵗ Pan saethasom hwynt darfu am Hespon
Esa.15,2 hyd Dibon, ac anrheithiasom hyd Nopha, yr
hon [sydd] hyd Mediba.
tPen. 32, 33 31 ᵗ A thrigodd Israel yn nhir yr Amoriaid.
u Ier. 3, 32 ᵘ Yna yr anfonodd Moses i chwilio Iazar,
Pen. 32, 1, 2 a gorchfygasant ei pheutrefydd hi, ac a ores-
cynnasant yr Amoriaid y rhai [oeddynt] yno.
*Deut.1, 3,10, a 3,1 33 * Troesant hefyd ac aethant i fynu hyd
Deut.32, 14 ffordd Basan, ac Og brenin Basan a ddaeth
allan yn eu herbyn hwynt i ryfel hyd Edrai, efe
ai holl bobl.
vSal.135, 11 34 ᵛ A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses,
Nac ofna ef, canys yn dy law di y rhoddaf ef,
ai holl bobl, ai dir, a gwnei iddo ef megis y
gwnaethost i Sehon brenin yr Amoriaid, yr hwn
[oedd] yn trigo yn Hespon.
w Deut. 22, 3, 23 35 ʷ Am hynny y tarawsant ef, ai feibion, ai
holl bobl, fel na adawyd iddo ef weddill, a gor-
escynnasant ei dir ef.

## PEN. XXII.

*Balac yn cyrchu Balaam i felldithio Israel. 9 Duw yn gwahardd i Balaam fyned i'w melldithio hwynt. 22 Yr angel yn sefyll ar ffordd Balaam, a'r assyn yn llefaru.*

xPen.33, 51, 55 A ˣ MEIBION Israel a gychwynnasant, ac a
wersyllasant yn rhossydd Moab, am yr
Iorddonen a Iericho.
yMic.6,5 Barn.11, 25 2 ʸ A gwelodd Balac mab Ziphor, yr hyn oll
a wnaethe Israel i'r Amoriaid.
Sal. 37, 12, 13 3 ᶻ Ac ofnodd Moab rhac y bobl yn fawr, ca-
Diar. 24, 32 nys llawer oedd, ïe ymofidiodd Moab rhac
zEx.15,15 meibion Israel.
Salm55,5 Deut 2,9 4 ᵃ Yna y dywedodd Moab wrth henuriaid
aPen.24, 17 Madian, Y gynnulleidfa hon yn awr a lyfant
Ier.48,38 ein holl amgylchoedd, fel y llyfa ŷch ddail y
maes: a Balac mab Ziphor [oedd] frenin ar
Moab yn yr amser hwnnw.
*2 Pedr. 2, 16 5 Ac efe a anfonodd gennadau at * Balaam fab
*Pen.23, 7 Peor, i Petor (yr hon [sydd] wrth afon tir meib-
Deut.23, 5 ion ei bobl) i'w gyrchu ef, gan ddywedyd, Wele
Ios. 24, 2 pobl a ddaeth allan o'r Aipht, wele y maent yn
cuddio wyneb y tir, ac y maent yn aros ar fyng-
hyfer i.
bPen 22, 41 a 23, 9 6 ᵇ Yr awran gan hynny tyret attolwg, mell-
Marc 11, 21 dithia i mi y bobl ymma, canys cryfach ydynt
Sal. 105, 34 na mi: etto ond odid gallwn daro arnynt, a gyr-
Act 8, 10 rwn hwynt o'r tir: canys gwn mae bendigedic
Sal. 119, 28 [fydd] yr hwn a fendithiech, a melldigedic [fydd]
Diar.16,2 yr hwn a felldithiech.
c 2 Pedr 2, 15 7 ᶜ Yna henuriaid Moab ac henuriaid Madian
a aethant [a gwobr] dewiniaeth yn eu dwylo,
daethant hefyd at Balaam a thraethasant iddo
eiriau Balac.
dPen.12, 6 8 ᵈ A dywedodd yntef wrthynt, Lletteuwch
Adn. 12, ymma heno, a rhoddaf i chwi atteb megis y llef-
aro yr Arglwydd wrthif: a thywysogion Moab
a arhosasant gyd â Balaam.

9 ᵉ Yna y daeth Duw at Balaam, ac a ddywed- eGen. 20, 3
odd, Pwy [yw] y dynion hyn [sydd] gyd a thi? Mat. 2, 12
10 A dywedodd Balaam wrth Dduw, Balac
mab Ziphor brenin Moab a ddanfonodd attaf,
[gan ddywedyd],
11 ᶠ Wele bobl wedi dyfod allan o'r Aipht, ac fAdn. 5, 11
yn gorchuddio wyneb y tir: yr awrau tyret rhega
hwynt i mi, felly ond odid y gallaf ryfela a
hwynt, ai gyrru allan.
12 ᵍ A dywedodd Duw wrth Balaam, Na ddos gRhuf. 4
gyd a hwynt, na felldithia y bobl, canys bendig- 6, 7. Rhuf.11,
edic ydynt. Gen. 27, 33
13 ʰ Yna y cododd Balaam y boreu ac a ddy-
wedodd wrth dywysogion Balac, Ewch i'ch Pen 23, 20
gwlad, o blegit yr Arglwydd a naccaodd adel i Deut.23, 5
mi fyned gyd a chwi. h Adn 8
14 ⁱ A thywysogion Moab a godasant, ac a Act. 10, 19
ddaethant at Balac, ac a ddywedasant, Necca- Pen. 23,
odd Balaam ddyfod gyd a ni. i Adn. 8, 13, 14, 15,
15 Yna Balac a anfonodd eilwaith fwy o dy- 16
wysogion anrhydeddusach na'r rhai hyn.
16 A daethant at Balaam ac a ddywedasant
wrtho, Fel hyn y dywed Balac mab Ziphor, At-
tolwg na luddier di rhac dyfod attaf.
17 ʲ Canys gan anrhydeddu i'th anrhydeddaf j Mat. 4, 8, 9
yn fawr, a'r hyn oll a ddywedech wrthif a wnaf: 1Bren. 18
tyret tithe attolwg, rhega i mi y bobl hyn. 19
18 ᵏ Yna yr attebodd Balaam ac a ddywedodd kTit.1,16
wrth weision Balac,* Pe rhodde Balac i mi arian *Pen.24,
ac aur loned ei dŷ, ni allwn fyned tros air yr Arg- 13 Heb 2,11
lwydd ˡ fy Nuw i wneuthur [dim] bychan neu fawr. Sal. 2, 1
19 ᵐ Ond attolwg yn awr arhoswch chwithau m Adn 8
ymma y nôs hon, fel y caffwyf wybod beth a Gal.1,15
ddywedo yr Arglwydd wrthif yn chwaneg.
20 ⁿ A daeth Duw at Balaam [liw] nos a dy- nEsec.h 2, 3
wedodd wrtho, Os i'th gyrchu di y daeth y dyn 1Pedr
ion hyn, cyfot dos gyd a hwynt: ac er hynny y Sal. 33,
peth a lefarwyf wrthit hynny a wnei di.
21 ᵒ Yna y cododd Balaam yn forau, ac a gy- oEsa. 8, 4, 5
frwyodd ei assyn, ac aeth gyd a thywysogion Diar. 19
Moab.
22 ᵖ Yna dig Duw a ennynnodd am iddo ef pSal. 5, 6
fyned, ac angel 'r Arglwydd a safodd ar y ffordd Gen. 4, 16
iw wrthwynebu ef, ac efe yn marchogaeth ar ei
assyn, ai ddau lange gyd ag ef.
23 ᑫ A'r assyn a welodd angel yr Arglwydd q1Cor. 1, 23
yn sefyll ar y ffordd, ai gleddyf yn noeth yn ei 1Cron. 16
law, a chiliodd yr assyn o'r ffordd, ac aeth i'r Ier. 8,
maes, a tharawodd Balaam yr assyn iw throi i'r 1Pedr 16
ffordd. Adn. 27, Rhuf.
24 ʳ Yna angel yr Arglwydd a safodd ar lwybr r Ier. 3, 43
y gwinllanoedd [a] chae o'r ddau tu.
25 ˢ Pan welodd yr assyn angel yr Arglwydd s Esa. 6, 12
yna hi a ymwascodd at y pared, ac a wascodd
droed Balaam wrth y pared, ac efe ai tarawodd
hi eil-waith.
26 ᵗ Ac aeth angel yr Arglwydd ym mhell tEsa. 30, 10

ach, ac a safodd mewn lle cyfyng, lle nid [oedd]
ffordd i gilio tua 'r tu dehau, na'r tu asswy.
n Iago 1, 20 27 [n] A gwelodd yr assyn angel yr Arglwydd,
Adn. 23 ac a orweddodd tan Balaam; yna'r enynnodd
dig Balaam, fel y tarawodd efe yr assyn â ffonn.
o 2 Pedr. 2, 16 28 [o] [p] Ac agorodd yr Arglwydd safn yr assyn,
p Adn. 19 a hi a ddywedodd wrth Balaam, Beth a wneu-
Ioan 12, 37 thum it pan darewaist fi y tair gwaith hyn?
Gen. 3,1 29 [q] A dywedodd Balaam wrth yr assyn, Am
Eph. 4,14 1 Cor. 1, 27 it fy siommi, O na byddc gleddyf yn fy llaw, canys
Luc 16,18 yn awr i'th laddwn.
w Gal 6, 7 30 Yna y dywedodd yr assyn wrth Balaam,
Adn. 3, Onid myfi [yw] dy assyn, ar yr hon y marchog-
Diar. 12, 10 aist er pan [ydwyf eiddo] ti, hyd y dydd hwn?
Sal. 92,6 gan arfer a arferais i wneuthur it fel hyn? ac efe
a 111, 3 a ddywedodd, Na ddo.
x Sal. 119, 18 31 [x] A'r Arglwydd a agorodd lygaid Balaam,
Esa. 47, 11 ac efe a welodd angel yr Arglwydd, yn sefyll ar
y ffordd, ai gleddyf noeth yn ei law: yna efe a og-
wyddodd ei ben, ac a ymgrymmodd ar ei wyneb.
y Sal. 56,6 32 [y] A dywedodd angel yr Arglwydd wrtho, Pa
ham y tarewaist dy assyn y tair gwaith hyn? wele
mi a ddaethum allan yn wrthwynebydd [i ti:] ca-
z 2 Pedr 2 nys cyfeiliornus [z] yw y ffordd hon yn fy ng-olwg.
a 1 Bren. 3,14 33 [a] A'r assyn a'm gwelodd, ac a giliodd rhagof
y tair gwaith hyn, oni buase iddi gilio rhagof, di-
au yn awr y lladdaswn di, a gadawswn yn fyw y hi.
Adn. 23 7, 32 34 [b] Yna y dywedodd Balaam wrth angel yr
Sal. 78,34 Arglwydd, Pechais am na wyddwn mai ti oedd
yn sefyll ar y ffordd yn fy erbyn: ac yr awran
os drwg [yw] yn dy olwg, dychwelaf adref.
Adn. 20 35 [c] A dywedodd angel yr Arglwydd wrth
Balaam, Dos gyd a'r dynion, a'r gair a lefarwyf
wrthit, hynny yn unic a leferi: felly Balaam a
aeth gyd a thywysogion Balac.
Gen. 14, 36 [d] A chlybu Balac ddyfod Balaam, ac efe a
Pen. 21, 13 aeth iw gyfarfod ef i ddinas Moab: yr hon [sydd]
ar ardal Arnon, yr hon [sydd] ar gwrr y terfyn.
Mat. 4,8 37 [e] A dywedodd Balac wrth Balaam: Onid
gan anfon yr anfonais attat i'th gyrchu? pa ham
na ddeuit ti attaf? oni allwn dy wneuthur di yn
anrhydeddus?
Pen. 24, 38 [f] A dywedodd Balaam wrth Balac, Wele
Esa. 44,25 mi a ddeuthum attat, gan * allu a allafi lefaru
2 Cor. 3,5 Pen. 23, dim yr awran? y gair a osodo Duw yn fy ng-enau
hwnnw a lefaraf.
Ier. 48, 39 [g] Ac aeth Balaam gyd a Balac, ac a ddaeth-
ant i gaer Huzoth.
Pen. 25, 40 [h] A lladdodd Balac warthec, a defaid, ac a
anfonodd [rai] i Balaam, ac i'r tywysogion y
rhai [oeddynt] gyd ag ef.
Diar. 1, 41 [i] A'r boreu Balac a gymmerodd Balaam ac
Deut. 1, aeth ag ef i fynu i uchelfeudd Baal: fel y gwele
n. 23, oddi yno [gwrr] eithaf y bobl.

## PEN. XXIII.

*Balaam yn peri i Balac adeiladu allorau, ac wedi hynny yn bendithio Israel.*

A [j] DYWEDODD Balaam wrth Balac, Ad- j Pen. 22, 22
ailada i mi ymma saith allor, a darpara i Gen. 15,6
mi ymma saith o fustych, a saith o hyrddod. Iob 42, 8
2 [k] A gwnaeth Balac megis ac y dywedodd k Pen. 21, 9
Balaam: ac offrymmodd Balac a Balaam fus- 2 Bren. 1, 28
tach a hwrdd ar [bob] allor.
3 [l] A dywedodd Balaam wrth Balac, Saf di l Gen. 4,
wrth dy boeth offrwm, myfi a âf [oddiymma:] 5 Pen. 24,1.
onid odid daw yr Arglwydd i'm cyfarfod, a
mynegaf it pa air a ddangoso efe i mi, ac efe a
aeth yn nwch.
4 [m] A chyfarfu Duw a Balaam, a dywedodd m Pen. 24, 1
Balaam wrtho, Darperais saith allor, ac a ab- Deut. 18,
erthais fustach a hwrdd ar [bob] allor. 10 Diar. 7,14
5 [n] A gosododd yr Arglwydd air yng-enau Deut. 23, 5
Balaam, ac a ddywedodd, Dychwel at Balac, a Diar. 22,
dywet fel hyn. 3
6 Ac efe a ddychwelodd atto, ac wele efe a holl 1 Sam. 15, 22
dywysogion Moab yn sefyll wrth ei boeth offrwm. n Diar. 16 1
7 [o] Ac efe a gymmerodd ei ddammeg, ac a ddy- o Deut.
wedodd, O Siria y cyrchodd Balac brenin Moab 23, 4 Pen. 22,5
myfi, o fynyddoedd y dwyrain, [gan ddywedyd,] Gen. 14,
Tyret melldithia i mi Iacob, tyret a ffieiddia 10 Esa. 26,
Israel. Deut. 11, 30
8 [p] Pa ham y rhegaf [yr hwn] ni regodd Duw? 1 Sam. 17, 10
a pha ham y ffieiddiaf yr hwn ni ffieiddiodd yr p Esa. 47,
Arglwydd? 12
9 [q] Canys o ben y creigiau y gwelaf ef, ac o'r q Lef. 49,
bryniau yr edrychaf arno ef: wele bobl yn 21 Lef. 19, 5
presswylio eu hun, ac heb eu cyfrif ynghyd a'r Ezra 9, 2
cenhedloedd.
10 [r] Pwy a rif lwch Iacob, a rhifedi pedwaredd- r Gen. 22,
ran Israel? marw a wnelwyf o farwolaeth y 17 Sal. 37,7
rhai inion, a bydded fy niwedd fel yntef.
11 [s] A dywedodd Balac wrth Balaam, Beth a s Sal. 109,
wnaethost i mi? i regu fyng-elynion i'th gym- 4
meraist, ac wele gan fendithio ti [ai] bendithiaist.
12 [t] Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, Onid t Tit 1,16
yr hyn a osododd yr Arglwydd yn fyng-enau,
hynny a lefaraf yn wastadol.
13 [u] A dywedodd Balac wrtho ef, Tyret attolwg u 1 Bren.
gyd amfi i le arall, lle y gwelech hwynt, oddi 20, 20
yno y cei weled eu cwrr hwynt yn unig, ac ni
chei eu gweled hwynt eu gyd: rhega dithe hwynt
i mi oddi yno.
14 [v] Ac efe ai cymmerodd i faes amlwg, i ben v Esa. 46,
brynn, ac a adailadodd saith allor, ac a offrym- 6
modd fustach a hwrdd ar [bob] allor.
15 Ac a ddywedodd wrth Balac, Saf ymma
wrth dy boeth offrwm, a mi a âf accw i gyfarfod
[a'r Arglwydd.]
16 [w] A chyfarfu yr Arglwydd a Balaam, ac a w Pen. 22, 35
osododd air yn ei enau ef, ac a ddywedodd,
Dychwel at Balac, a dywet fel hyn.
17 Ac efe a ddaeth atto, ac wele efe yn sefyll
wrth ei boeth offrwm, a thywysogion Moab gyd
ag ef: a dywedodd Balac wrtho, Beth a ddy-

wedodd yr Arglwydd?
x Barn.3 20 18 x Yna y cymmerodd efe ei ddammeg, ac a
ddywedodd: Cyfot Balac a gwrando, mab Ziphor
clustymwrando a mi.
y Tit. 1,2 Hab. 2,3 19 y Nid dyn [yw] Duw i ddywedyd celwydd,
Sal.89,35 na mab dyn i edifarhau, a ddywed efe ac nis
Luc21,33 1Sam. 15 cyflawna?
35 20 z Wele cymmerais arnaf fendithio: canys
Iago 1,17 Amos7,3 bendithiodd efe, ac ni throafi [oddi ar] hynny.
6 Gen. 6,6 21 a Ni wêl efe anwiredd yn Iacob, ac ni wêl
zGen. 24 35 drawsedd yn Israel: yr Arglwydd ei Dduw [sydd]
Rhuf. 8, 38 gyd ag ef, ac [y mae] udcorn-floedd brenin yn
aRhuf. 4 7 eu mysc hwynt.
Esec. 48, 35 22 b Duw ai dug hwynt allan o'r Aipht, nerth
Dat. 2,1 unicorn [sydd] iddo.
Pen.10,9 23 c Canys nid [oes] ofer-goel yn Iacob, na
2 Cor. 2, 14 dewiniaeth yn Israel: y pryd [hyn] y dywedir
bPen. 22 5 am Iacob, ac am Israel, Beth a wnaeth Duw?
Sal.68,35 24 d Wele pobl a gyfyd fel hên lew, ac fel llew
Iob 39,10 ieuangc yr ymgyfyd, ni orwedd nes bwytta yr
c Lef. 19, 26 sclyfaeth, ac yfed gwaed y lladdedigion.
Mat. 16,8 Sal.44,2, 3 25 e A dywedodd Balac wrth Balaam, Gan
d Gen.49 9 regu na rega ef mwy, gan fendithio na fendithia
1 Pedr 5, 9 ef y chwaith.
Dan.2,44 26 Yna yr attebodd Balaam ac a ddywedodd
e Sal. 2,1 wrth Balac, Oni fynegais it gan ddywedyd? Yr
hyn oll a lafara yr Arglwydd hynny a wnaf.
f Mat. 4, 11 27 f A dywedodd Balac wrth Balaam, Tyret
attolwg mi a'th gymmeraf i le arall: ond odid
bodlon fydd gan Dduw i ti ei regu ef i mi oddi yno.
g Pen.28, 2 28 g A Balac a gymmerodd Balaam i ben Peor,
yr hwn a welir tua'r diffaethwch.
29 A dywedodd Balaam wrth Balac, Adailada
i mi ymma saith allor, a darpara i mi ymma saith
bustach, a saith hwrdd.
30 A gwnaeth Balac megis y dywedodd Balaam, ac a offrymmodd fustach a hwrdd ar [bob]
allor.

## PEN. XXIV.

*Prophwydoliaeth Balaam am frenhiniaeth Israel, a dyfodiad Crist, a dinystriad yr Amaleciaid a'r Ceneaid.*

*Pen.23, 3, 15 PAN welodd Balaam mai da oedd yngolwg yr Arglwydd fendithio Israel: yna*
nid aeth efe megis o'r blaen i gyrchu dewiniaeth: onid cododd ei wyneb tua'r anialwch.
hCan.6,4 2 h A chododd Balaam ei lygaid, ac wele Is-
Pen. 11, 26 rael yn presswylio yn ol ei lwythau: a daeth ys-
Ioan 11, 51 pryt Duw arno ef.
*Pen.23, 7 3 * Yna y cymmerodd efe ei ddammeg ac a
ddywedodd, Balaam mab Peor a ddywed, a'r
gŵr llygad gaead a ddywed.
iDat.1,17 jHeb.11, 9 4 i Gwrandawydd geiriau Duw a ddywed,
k Can. 6, 11 yr hwn a wel weledigaeth 'r Holl alluoc, yr hwn
Can. 4,12 a syrthiodd, ac a agorwyd [ei] lygaid.
Sal. 1, 3 Preg.7,1 5 j Morr hyfryd yw dy bebyll di O Iacob, dy
Sal. 104, 16 gyfanneddau di Israel.
Sal. 1, 13 6 k Ymestynnant fel dyffrynnoedd, ac fel
gerddi wrth afon, fel Aloe-wydd a blannodd yr
Arglwydd, fel y Cedr-wydd wrth ddyfroedd.
7 l Difera efe ddwfr oi stennau, ai hâd [fydd] lEsa.49,1 Dat.17,15
mewn dyfroedd lawer, ai frenin a ddercheFir yn Ioan 1,49
uwch nac Agag, ai frenhiniaeth a ymgyfyd. Dat. 11, 15
8 m Duw ai dug ef allan o'r Aipht: nerth uni- mPen.23 22
corn [sydd] iddo, bwytta efe y cenhedloedd y rhai Esa.60,12
ai gorthrymmant ef, ac a ddryllia eu hesgyrn, Sal. 2,9 Ier.50,9
ac ai saethau y gwana efe hwynt.
9 Efe a * grymma [ac] a orwedd fel llew ien- *Gen.49, 9
angc, ac fel llew hên: pwy ai cyfyd ef? bendigedic Dat. 5,5
[fydd] dy fendith-wyr, a melldigedic dy felldith-
wyr.
10 n Yna yr enynnodd dig Balac wrth Balaam, n Iob 27, 23
ac a wascodd ei ddwylo, dywedodd Balac hefyd
wrth Balaam, I regu fyng elynion i'th gyrchais,
ac wele ti gan fendithio a fendithiaist y tair
gwaith hyn.
11 o Am hynny yn awr ffo di adref i'th fangre oEsa.?, 10
dy hun: dywedais gan anrhydeddu i'th anrhy- Diar. 11,
deddwn, ac wele attaliodd yr Arglwydd di oddi 18
wrth anrhydedd.
12 Yna y dywedodd Balaam wrth Balac, Oni
lefarais wrth dy gennadau y rhai a anfonaist
attaf gan ddywedyd?
13 p Pe rhodde Balac i mi arian ac aur loned pPen.22 18
ei dŷ ni allwn droseddu gair yr Arglwydd, i
wneuthur da neu ddrwg o'm meddwl fy hun:
yr hyn a lefaro yr Arglwydd hynny a lefaraf fi.
14 q Ond yr awran wele fi yn myned at fy q Pen.? 16
mhobl: tyret mi a'th gynghoraf [am] yr hyn a wna
y bobl hyn i'th bobl di yn r y dyddiau dyweddaf. rGen.49, 1
15 Ac efe a gymmerth ei ddammeg, ac a ddy-
wedodd: Balaam mab Peor a ddywed, a'r gŵr
llygad gaead a ddywed.
16 Dywet gwrandawydd geiriau Duw, gwybodydd gwybodaeth y Goruchaf, a gweledydd
gweledigaeth yr Holl alluoc: yr hwn a syrthiodd
ac yr agorwyd ei lygaid.
17 s Gwelaf ef, ac nid yr awran: canfyddaf ef, sDat. 1,? Heb. 1,1
ond nid o agos: aiff seren o Iacob, a chyfyd Mat. 2,2
teyrn-wialen o Israel: a dryllia gyrrau Moab, ac Gen. 49, 10
a ddinistria holl feibion Seth. Ier. 48,4, 5
18 t Yna Edom a orescynnir, Seir hefyd a ores- tEsa.63, 1,6
cynnir [gan] ei elynion: ac Israel a wna rymmuster. 1Sam.14, 48
19 u Ac arglwyddiaetha [un] o Iacob, ac a u1Tim.6, 15
ddinistria y gweddill o'r ddinas.
20 v Yna efe a edrychodd ar Amalec, a chym- vEx. 17,8 *Ex.17,4, 10
merodd ei ddammeg, a dywedodd: Dechrau 1Sam. 15, 3
cenhedloedd [yw] * Amalec, ai ddiwedd a ddér-
fydd am dano byth.
21 w Edrychodd hefyd ar y Cenead, a chym- w Barn.1, 16
merodd ei ddammeg, a dywedodd, Cadarn [yw] Iob 39,27
dy annedd, gosot ti dy nŷth yn y graig.
22 Er hynny bydd [rhai] i bori y Cenead, hyd
oni i'th gaethiwo Assur.
23 Ac efe a gymmerodd ei ddammeg, ac a

ddywedodd, Och pwy fydd byw pan osodo Duw
hyn?
24 Llongau hefyd o draeth Cittim a orthrym-
mant Assur, ac a orthrymmant Eber, ac yntef
a dderfydd am danọ byth.
25 A chododd Balaam, ac aeth, ac a ddychwel-
odd adref, a Balac aeth hefyd iw ffordd yntef.

## PEN. XXV.

*Israel yn godinebu gyd a merched Moab. 7 Phinees yn lladd Cosbi a Zamri. 17 Duw yn gorchymyn lladd y Madianiaid.*

*Pen.33, 48 z Dent. 4, 3, 4 Dat. 1,14 Preg. 7, 26 A *THRIGODD Israel [z] yn Sittim, a dech-
reuodd y bobl odinebu gyd a merched
Moab.
a 1 Bren. 11, 1, 4 1Cor. 10, 18 2 [a] A galwasant ar y bobl i aberthau eu duw-
iau hwynt, a bwyttaodd y bobl, ac addolasant
eu duwiau hwynt.
b 1Cor.6, 14 Sal. 106, 29 3 [b] Ac ymgyfeillodd Israel a Baal Peor, yna yr
enynnodd digofaint yr Arglwydd yn erbyn Israel.
* Dent. 4, 3 Ios. 22,17 4 A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses *Cym-
mer holl bennaethiaid y bobl, a chroga hwynt
i'r Arglwydd a'r gyfer yr haul, fel y dychwelo
llid digofaint yr Arglwydd oddiwrth Israel.
5 A dywedodd Moses wrth farn-wyr Israel,
Lleddwch bob un ei ddynion y rhai a ymgyfeill-
asant a Baal Peor.
c Ezec. 9, 4 6 [c] Ac wele wr o feibion Israel a ddaeth ac a
ddygodd Madianites at ei frodyr, yng-olwg
Moses, ac yng-olwg holl gynnulleidfa meibion
Israel: a hwynt yn wylo [wrth] ddrws pabell y
cyfarfod.
* Psalm 106, 30 7 A gwelodd *Phinees mab Eleazar, mab Aa-
ron yr offeiriad, ac a gododd o ganol y gynnull-
eidfa, ac a gymmerodd waiw-ffon yn ei law.
d 1 Cron. 21, 22 Pen 16,50 8 [d] Ac a aeth ar ol y gwr [o] Israel i'r lluest, ac
ai gwanodd hwynt ill dau, sef y gwr o Israel
a'r wraig trwy ei cheudod: ac a attalwyd y pla
oddiwrth feibion Israel.
e Dent. 4, 3 1Cor.10,8 9 [e] A bu feirw o'r blâ bedair mil a'r hugain.
10 Yna y llefarodd yr Arglwydd wrth Moses
gan ddywedyd,
f 2 Cor. 11, 2 Ex. 20, 5 11 [f] Phinees mab Eleazar, mab Aaron, yr off-
eiriad, a drodd fy nigter oddi wrth feibion Is-
rael, pan eiddigeddodd efe drosofi yn ei mysc
fel na ddifethais feibion Israel yn fy eiddigedd.
g Mal.2,5 Heb7,16, 17 12 [g] Am hynny dywet, Wele fi yn rhoddi iddo
fyng-hyfammod o heddwch.
h Heb.7, 11 Barn.20, 28 13 [h] A bydd iddo ef, ac iw hâd ar ei ol ef am-
mod o offeiriadaeth dragywyddol, am iddo eidd-
Ier.33, 17 18 igeddu tros ei Dduw, a gwneuthur iawn tros
Zec. 1,14 feibion Israel.
Gal. 4,18 14 A henw y gŵr o Israel yr hwn a laddwyd
Ios 7,1,12 [sef] yr hwn a laddwyd gyd a'r Fadianites [oedd]
Diar 16, 14 Zimri mab Salu pennaeth tŷ [ei] dâd o [lwyth]
Simeon.
15 A henw y wraig o Madian a laddwyd [oedd]
Cozbi merch Zur: pen cenhedlaeth yn Madi-
an oedd hwn.

16 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses,
gan ddywedyd,
17 * Blina y [i] Madianiaid, a lleddwch hwynt. *Pen 31,2 i Adn. 9
18 [j] Canys blin ydynt arnoch trwy eu dichell- Ier.25,29
ion, y rhai a ddychymmygasant i'ch erbyn yn Dat. 2, 14 j Dat.18,6
achos Peor, ac yn achos Cozbi merch tywysog a 2, 14 Ex. 1, 10
Madian eu chwaer hwynt, yr hon a laddwyd yn Sal. 106, 25
nydd y blâ, o achos Peor.

## PEN. XXVI.

*Rhifedi meibion Israel.*

A [k] BU wedi y blâ lefaru o'r Arglwydd wrth k Pen. 25, 9
Moses, ac wrth Eleazar fab Aaron yr
offeiriad, gan ddywedyd,
2 [l] Cymmerwch nifer holl gynnulleidfa meib- l Pen. 1, 2, 3
ion Israel, o fab ugain mlwydd ac uchod, [sef] pob
un a allo fyned i ryfel yn Israel, yn ol tŷ eu tadau.
3 [m] Felly y llefarodd Moses ac Eleazar yr m Pen 22, 1. a 33,48
offeiriad wrthynt yn rhossydd Moab, am yr
Iorddonen ag Iericho, gan ddywedyd,
4 [Rhifwch y bobl] o fab ugain mlwydd ac
uchod, * megis y gorchymynnodd yr Arglwydd *Pen.1,3
wrth Moses, a meibion Israel y rhai a ddaeth-
ant allan o dir yr Aipht.
5 [n] Ruben [oedd] * gyntafanedic Israel [dym- n 1 Cron. 5, 1
ma] feibion Ruben, [daeth o] Hanoch tylwyth Pen. 2,10
yr Hanochiaid: o Phalu tylwyth y Phaliaid. Gen.46,9 *Ex. 6,14
6 O Hesron tylwyth yr Hesroniaid, o Charmi 1Cron5,1 Gen.46,7
tylwyth y Carmiaid.
7 [o] Dymma dylwyth y Rubeniaid, ai rhifedig- o Gen.46, 9
ion oeddynt dair mil a deugain, saith gant, a 1Cron5,3 Pen. 1,21
dec ar hugain. Ezec5,11
8 A meibion Phalu [oedd] Eliab.
9 [p] A meibion Eliab, Nemuel, Dathan, ac Abi- p Ex. 16, 1, 2
ram: dymma y Dathan ac Abiram, rhai enwoc
y gynnulleidfa, y rhai a * ymgynhennasant yn *Pen16,2
erbyn Moses ac yn erbyn Aaron ynghynnull-
eidfa Corah: pan [q] ymgynhennasant yn erbyn q Pen. 16, 32
yr Arglwydd. Ex. 16,38
10 Ac agorodd y ddaiar ei safn, ac ai llyngc-
odd hwynt, a Chorah hefyd: pan fu farw y gyn-
nulleidfa, pan ddifaodd y tân ddengwr a deugain
a dau cant, y rhai aethant yn arwydd.
11 [r] Ond meibion Corah ni buant feirw. r Pen16,5 Ex. 6, 24
12 [s] [Dymma] feibion Simeon wrth eu ty- s Ex. 6,15
lwythau, [daeth] o Nemuel tylwyth y Nemuel- 1Cron. 4, 24
iaid: o Iamin tylwyth y Iaminiaid, o Iacin 1Bren. 7, 21
tylwyth y Iaciniaid.
13 [t] O Zarech tylwyth y Zarechiaid, o Saul t Gen. 46, 10
tylwyth y Sauliaid.
14 [u] Dymma dylwyth y Simoniaid, dwy fil ar u Iob 18,9 Pen 1,23
hugain a dau cant.
15 [v] [Dymma] feibion Gad wrth eu tylwythau, v Pen2,10 Gen46,16
[daeth] o Zephon tylwyth y Zephoniaid, o Haggi
tylwyth yr Haggiaid, o Suni tylwyth y Suniaid.
16 O Ozni tylwyth yr Ozniaid, o Eri tylwyth
yr Eriaid.

17 O Arod tylwyth yr Arodiaid, o Ariel tylwyth yr Arieliaid.

wPen. 2, 15 18 w Dymma deuluoedd meibion Gad dan eu rhif, deugain mil, a phum cant.

*Gen 38, 7, 10 19 Meibion Iuda [oeddynt] * Er, ac Onan, a bu farw Er ac Onan yn nhir Canaan.

20 A meibion Iuda oeddynt wrth eu teuluoedd [y rhai hyn,] o Selah tylwyth y Selaniaid, o Phares tylwyth y Phareziaid: o Zerach tylwyth y Zerachiaid.

*Gen. 38, 29 1Cro. 2, 4 Mat. 1, 3 21 A meibion * Phares oeddynt, o Hesron tylwyth yr Hesroniaid: o Hamul tylwyth yr Hamuliaid.

22 Dymma dylwyth Iuda dan eu rhif: onid pedair mil pedwar ugain mil a phump cant.

xGen. 30, 17. a 46, 13 Pen. 2, 5 1Cro. 7, 1 23 x Meibion Issachar wrth eu tylwythau [oeddynt] o Tolah tylwyth y Tolaniaid, o Puah tylwyth y Puaniaid.

yGen. 46, 13 † Iob. 24 y O Iasub † tylwyth y Iasubiaid, o Smiron tylwyth y Smironiaid.

25 Dymma deuluoedd Issachar dann eu rhif, pedwar mil a thrugain mil a thry-chant.

zGen. 30, 19 26 z Meibion Zabulon wrth eu teuluoedd [oeddynt:] o Sered tylwyth y Serediaid: o Elon tylwyth yr Eloniaid: o Iahaliel tylwyth y Iahalieliaid:

27 Dymma deuluoedd y Zabuloniaid dann eu rhif, tri ugain mil, a phump cant.

a 1 Cron. 5, 2 *Ios 17, 1 28 a Meibion Ioseph wrth eu teuluoedd [oeddynt] Manasses ac Ephraim.

bGen 48, 14 1Cron. 7, 14 29 b Meibion Manasses [oeddynt:] o * Machir tylwyth y Machiriaid: a Machir a genhedlodd Gilead: o Gilead [y mae] tylwyth y Gileadiaid.

cIos. 7, 2 30 c Dymma feibion Gilead [o] Hiezer, tylwyth yr Hiezeriaid: o Helec tylwyth yr Heleciaid.

31 Ac [o] Asriel tylwyth y Asrieliaid: ac [o] Sechem tylwyth y Secheniaid.

32 Ac [o] Simid tylwyth y Simidiaid: ac [o] Hepher tylwyth yr Hepheriaid.

*Pen 27, 1 33 A * Zalphaad mab Hepher nid oedd iddo feibion onid merched a henwau merched Zalphaad [oedd,] Mahola, Noe, Hagla, Milcha a Thirza.

34 Dymma dylwyth Manasses, ai rhifedigion [oeddynt] ddeuddeng mil a deugain, a saith gant.

35 Dymma feibion Ephraim, wrth eu teuluoedd, o Suthela tylwyth y Sutheliaid: o Becher tylwyth y Becheriaid: o Thahen tylwyth y Thaheniaid.

d 1 Cron. 7, 26, 27 Pen. 2, 1 36 d Ac dymma feibion Suthelah, o Eran tylwyth yr Eraniaid.

1 Cron. 8, 1 Gen. 46, 21 37 Dymma dylwyth meibion Ephraim trwy eu rhifedigion deuddeg mil ar hugain a phum cant: dymma feibion Ioseph wrth eu teuluoedd.

38 Meibion Beniamin wrth eu teuluoedd [oeddynt,] o Bela tylwyth y Belaniaid: o Asbel tylwyth yr Asbeliaid: o Ahiram tylwyth yr Ahiramiaid.

eGen. 46, 22 1Cron. 7, 12 39 e O Sephupham tylwyth y Sephuphamiaid: o Hupham tylwyth yr Huphamiaid.

40 A meibion Bela oeddynt Ared, a Naaman: [o Ared yr ydoedd] tylwyth yr Arediaid: o Naaman tylwyth y Naamaniaid.

41 f Dymma feibion Beniamin yn ol eu teuluoedd: dann eu rhif [oeddynt] bum mil a deugain a chwe chant. fGen. 46, 21

42 Dymma feibion Dan yn ol eu teuluoedd o Suham tylwyth y Suhamiaid: dymma dylwyth Dan yn ol eu teuluoedd.

43 g A holl dylwyth yr Suhamiaid [oeddynt] trwy eu rhifedigion, bedair mil a thrugain, a phedwar cant. gPen. 1, 39

44 Meibion Aser wrth eu teuluoedd [oeddynt] o Iemna tylwyth y Iemnaid: Isai tylwyth yr Isaiaid: o Beriah tylwyth y Beriaid.

45 O feibion Beriah [yr oedd] o Cheber tylwyth y Cheberiaid: o Malcel tylwyth y Malceliaid.

46 Ac enw merch Aser [ydoedd] Sarah.

47 h Dymma deuluoedd meibion Aser drwy eu rhifedigion, tair mil ar ddec a deugain, a phedwar cant. hPen. 1, 28

48 Meibion Nephthali wrth eu teuluoedd [oeddynt] o Iaheziel tylwyth yr Iahezeliaid: o Guni tylwyth y Guniaid.

49 O Iezer tylwyth y Iezeriaid: o Sellem tylwyth y Sellemiaid.

50 i Dymma dylwyth Nephthali yn ol eu teuluoedd dann eu rhif, pum mil a deugain, a phedwar cant. iPen. 1, 36

51 j Dymma rifedigion meibion Israel, chwe chan mil, a mil, saith gant a dec ar hugain. jPen. 2, 32 Iob 12, 9 10, 14, 23 Gal. 4, 8 Rhuf. 4, 15 Neh. 9, 23 Sal. 77, 13

52 Yna y llefarodd yr Arglwydd wrth Moses gan ddywedyd: k Exo. 47, 27 Gen. 12, 4, 7

53 k I'r rhai hyn y rhennir y tir yn etifeddiaeth, yn ol rhifedi yr henwau.

54 I'r * aml [ei dylwyth] l chwanega ei etifeddiaeth, ac i'r anaml prinhâ ei etifeddiaeth: rhodder [i] bob un ei etifeddiaeth yn ol ei rifedigion. Rhuf. 4, 29 1 Pedr 1, 2, 3 Dat. 21, 8 a 5, 10

55 Etto * wrth m goelbren y rhennir y tir, wrth henwau llwythau eu tadau 'r etifeddant. Dan. 7, 27 Sal. 49, 14 Mat. 5, 5

56 n Wrth farn y coel-bren y rhennir ei etifeddiaeth, rhwng aml ac anaml [ei dylwyth.] *Pen. 33, 54 Ios. 17, 14 * Ios 11, 23

57 * Ac dymma rifedigion y Lefiaid wrth eu teuluoedd, o Gerson tylwyth y Gersoniaid: o Cehath tylwyth y Cehathiaid: o Merari tylwyth y Merariaid. m Pen. 33, 17 Diar. 16, 33 Act. 8, 17 a 26, 18 Col. 1, 12

58 o Dymma dylwyth Lefi, tylwyth y Libniaid, tylwyth yr Hebroniaid, tylwyth y Maheliaid, tylwyth y Mussiaid, tylwyth y Corasiaid: Cehath hefyd a genhedloedd Amram. 1 Pedr 1, 3 n 1 Cor. 12, 4 Rhuf. 11, 7

59 A henw gwraig Amram [oedd] Iochebed * merch Lefi: yr hon a aned i Lefi yn yr Aipht, a hi a ddug i Amram Aaron, a Moses, a Miriam eu chwaer hwynt. *Ex. 6, 20 Pen 3, 2, 3 o Pen. 19, 20.

60 p A ganed i Aaron Nadab ac Abihu, Eleazar, ac Ithamar. p Pen. 3, 2 a 6, 20

qLef.10, 1, 2 61 q A bu farw Nadab ac Abihu, pan offrym-
masant dân dieithr ger bron yr Arglwydd.
r Pen. 3, 39 62 r Ai rhifedigion oeddynt dair mil ar hugain
*Lef.10.2 [sef] pob gwryw o fab misyriaid ac uchod, can-
Pen.3, 4 1 Cron. 24, 2 ys ni chyfrifyd hwynt ym mysc meibion Israel,
am na roddwyd iddynt etifeddiaeth ym mhlith
meibion Israel.
63 Dymma rifedigion Moses ac Eleazar yr off-
eiriad, y rhai a rifasant feibion Israel yn rhos-
•Pen. 14, sydd Moab am yr Iorddonen ag Iericho.
28.a 36,11 Ios. 17, 3 1 Cor.10, 5, 6 64 Ac yn y rhai hyn nid oedd un o rifedigion
Moses ac Aaron yr offeiriad, y rhai a rifasant
Deut. 2, 16 feibion Israel yn anialwch Sinai.
Rhuf. 14, 22 65 Canys dywedase yr Arglwydd am danynt,
*Gan farw y byddant feirw yn yr anialwch: ' ac
2 Cron 25, 2 ni adawsyd o honynt un, ond Caleb mab Je-
Ex. 12.37 Sal 90,3,5 phun, a Iosuah mab Nun.

## PEN. XXVII.

*Merched Zalfaad yn cael tir eu tad. 12 Moses yn cael gweled tir Canaan. 18 Iosuah yn cael swydd Moses.*

tGal 3.23 Sal 11,2,5 Y NA y daeth Merched Zalfaad, t mab He-
Pen. 26, pher, mab Gilead, mab Machir, mab Ma
33.a 36.11 Ios. 17, 3 nasses, o dylwyth Manasses mab Ioseph; (ac
dymma henwau ei ferched ef, Mahola, Noa,
Hagla, Milcha, a Thirza.)
2 Ac a safasant ger bron Moses, a cher bron
Eleazar yr offeiriad, a cher bron y pennaethiaid
a'r holl gynnulleidfa [wrth] ddrws pabell y
cyfarfod, gan ddywedyd,
uPen.14, 35. a 26, 64, 65 3 u Ein tad a fu farw yn yr anialwch, ac nid
oedd efe ym mysg y gynnulleidfa a godasant yn
Pen. 16, 1, 2, 3 erbyn yr Arglwydd * yng-hynnulleidfa Corah,
onid yn ei bechod ei hun y bu farw, ac nid
oedd meibion iddo.
Sal.109, 13 4 v Pa ham y tynnir ymmaith henw ein tad o
Ex. 32,11 Mar.13,9 fysc ei dylwyth am nad oes iddo fab? §dod i ni
Cyfiel. b 'r torwyn on call etifeddiaeth ym mysc brodyr ein tad ni.
5 w A dug Moses eu hawl hwynt ger bron yr
Arglwydd.
nMat25 6 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan
4 Pen.15, Ex. 25,22 ddywedyd:
Sal.68,5 7 x Y mae merched Salphaad yn dywedyd yn
Ios. 17, 4 Ial. 3,28 iniou, gan roddi dyro iddynt feddiant etifedd-
iaeth ym mysg brodyr eu tad: dyro iddynt
etifeddiaeth eu tad.
8 Llefarodd hefyd wrth feibion Israel gan
ddywedyd, Pan fyddo marw un ac heb fab
iddo, trosswch ei etifeddiaeth ef i'w ferch.
9 Ac oni [bydd] merch iddo, rhoddwch ei
etifeddiaeth ef i'w frodyr.
10 Ac oni [bydd] brodyr iddo, yna rhoddwch
ei etifeddiaeth ef i frodyr ei dad.
Lef.18,6 11 y Ac oni [bydd] brodyr i'w dad, yna rhodd-
wch ei etifeddiaeth ef i'w gar nessaf iddo oi dy-
lwyth, ac etifedded [hwnnw] hi: a bydded [hyn]
i feibion Israel yn ddeddf farnedic megis y
gorchymynodd yr Arglwydd wrth Moses.

12 z A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, zPen.33, 47
* Dring i'r mynydd Abarim hwn, ac edrych ar * Deut. 32, 49
y tir yr hwn a roddais i feibion Israel.
13 a Ac wedi it edrych arno, * tithe a gesclir aGen. 15, 15
at dy bobl, fel y casglwyd Aaron dy frawd. *Pen 20, 24
14 Megis yn anialwch Zin wrth gynnen y gyn- *Pen 20, 14
nulleidfa y * gwrthwynebasoch fyng-air b am fy b Deut. 32, 51
sancteiddio wrth y dwfr yn eu golwg hwynt: Lef. 22,2 Pen20,12
*dymma ddwfr cynnen Cades [yn] anialwch *Ex 17,7
Zin. Deut.32, 51
15 A llefarodd Moses wrth yr Arglwydd,
gan ddywedyd:
16 c Arglwydd Dduw ysprydion pob cnawd, cPen. 16, 22
gosot un ar y gynnulleidfa.
17 * Yr hwn a elo allan o'u blaen hwynt, d ac Deut. 4, 21
a ddelo i mewn o'u blaen hwynt, a'r hwn ai Preg. 10, 17
dygo hwynt allan, ac a'i dygo hwynt i mewn: * 2 Cron. 2, 10
fel na byddo cynnulleidfa yr Arglwydd fel d Deut. 28, 6
defaid y rhai ni [byddo] bugail arnynt. 1 Cron. 24, 19
18 e A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Mat.9,36
Cymmer attat Iosuah fab Nun, gŵr yr hwn [y e Deut. 34, 9
mae] yspryd ynddo, a gosot dy law arno. 2Tim 1,7
19 f A dod ti ef i sefyll ger bron Eleazar yr Ioan 3,34 f Deut.
offeiriad a cher bron yr holl gynnulleidfa, a dod 31, 7
orchymmyn iddo ef yn eu gŵydd hwynt.
20 g A dod o'th ogoniant di arno ef, fel y g 1Cron. 29, 23
gwrandawo holl gynnulleidfa meibion Israel Heb. 3, 3
[arno.] Ios. 1, 16, 17
21 h A safed ger bron Eleazar yr offeiriad, ac 2 Pedr 1, 16, 17
ymgynghored ag ef am farn yr * Urim ger bron * Ex. 28, 30
yr Arglwydd: wrth ei air ef yr ânt allan, ac h 1 Sam.
wrth ei air ef y deuant i mewn, efe a holl feibion 23,9,11 12
Israel gyd ag ef, a'r holl gynnulleidfa.
22 A gwnaeth Moses megis y gorchymynnodd
yr Arglwydd iddo, ac a gymmerodd Iosuah,
ac a barodd iddo sefyll ger bron Eleazar yr
offeiriad, a cher bron yr holl gynnulleidfa.
23 Ac efe a osododd ei ddwylaw arno, ac a
rodd orchymynnion iddo, megis y llefarase yr
Arglwydd trwy law Moses.

## PEN. XXVIII.

*Amryw offrymmau, ac aberthau, ac amryw amseroedd.*

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth
Moses, gan ddywedyd:
2 i Gorchymyn i feibion Israel, a dywet wrth- i Sal.105, 44, 45
ynt, Gwiliwch am offrymmu i mi fy offrwm, a'm Lef. 1, 2
bara i'm hebyrth tanllyd o arogl esmwyth j yn a 3, 11
ei dymmor. jLef.23,2,
3 A dywet wrthynt, * Dymma'r aberth tanllyd k Lef.6,9
yr hwn a offrymmwch i'r Arglwydd: dau oen- Ex. 12, 5 * Ex. 29,
olwydddiaid berffaith-gwbl yn y dydd, yn boeth 38, 42
offrwm gwastadol.
4 Un oen a offrymmi di y boreu, a'r ail oen a
offrymmi di yn y cyfnos.
5 A decfed ran epha o beillied yn * fwyd off- *Ex16,36
rwm wedi ei gymmysgu trwy bedwaredd ran a 29, 40,
din o olew coethedic. Lef. 2, 1

6 [Dymma] y poeth-offrwm gwastadol a wnaed ym mynydd Sinai, yn arogl esmwyth o aberth tanllyd i'r Arglwydd.

7 Ai ddiod offrwm [fydd] bedwaredd ran hin gyd a phob oen: tywallt dywalltiad diod gref i'r Arglwydd yn y cyssegr.

8 Yr ail oen a offrymmi yn y cyfnos: megis bwyd offrwm y boreu, a'i ddiod offrwm, yr offrymmi aberth tanllyd o arogl esmwyth i'r Arglwydd.

9 [l] Ac ar y dydd Sabboth, dau oen blwyddiaid perffaith-gwbl, a dwy ddecfed ran [epha] o beillied yn fwyd offrwm wedi ei gymmyscu trwy olew, a'i ddiod offrwm.

10 Poeth offrwm y Sabboth [fydd] ar ei Sabboth, heblaw y poeth offrwm gwastadol a'i ddiod offrwm.

11 [m] Ac ar ddechreu eich misoedd yr offrymmwch yn boeth-offrwm i'r Arglwydd ddau o fustych ieuaingc, ac un hwrdd, [a] saith oen blwyddiaid perffaith-gwbl.

12 [n] A thair decfed ran [epha] o beillied yn fwyd-offrwm wedi ei gymmyscu drwy olew gyda phob bustach, a dwy ddecfed ran [epha] o beillied yn fwyd-offrwm wedi ei gymmyscu trwy olew gyd a phob hwrdd.

13 [o] A phob yn ddecfed ran [epha] o beillied yn fwyd-offrwm wedi ei gymmyscu drwy olew gyda phob oen: yn offrwm poeth o arogl esmwyth yn aberth tanllyd i'r Arglwydd.

14 Ai diod offrwm fydd hanner hin gyda bustach, a thrydedd ran hin gyd a hwrdd, a phedwaredd ran hin gyd ag oen, dymma win poeth-offrwm, mis yn ei fis, trwy fisoedd y flwyddyn.

15 [p] Ac un bwch geifr [fydd] yn bech-aberth i'r Arglwydd, heb law y gwastadol boeth-offrwm, yr offrymmir ef ai ddiod offrwm.

16 Ac yn y mis cyntaf * ar y pedwerydd dydd ar ddec o'r mis [y bydd] Pasc yr Arglwydd.

17 Ac ar y pymthecfed dydd o'r mis hwn [y bydd] yr wyl: saith niwrnod y bwytteir bara croiw.

18 [q] Ar * y dydd cyntaf [y bydd] cymanfa sanctaidd, na wnewch ddim caeth-waith.

19 [r] Ond offrymmwch yn aberth tanllyd [ac] yn boeth offrwm i'r Arglwydd ddau o fustych ieuangc, ac un hwrdd, a saith oen blwyddiaid: byddant gennych yn berffaith-gwbl.

20 Eu bwyd offrwm hefyd o beillied wedi ei gymmyscu drwy olew, [sef] tair decfed ran [epha] gyd a bustach, a dwy ddecfed ran gyd a hwrdd a offrymmwch chwi.

21 Bob yn ddecfed ran yr offrymmwch gyd a phob oen, o'r saith oen.

22 [s] Ac un bwch yn bech aberth, i wneuthur iawn drosoch.

23 [t] Heb law poeth offrwm y boreu, yr hwn [sydd] boeth offrwm gwastadol, yr offrymwch hyn.

24 Fel hyn yr offrymmwch ar [bob] dydd o'r saith niwrnod fwyd aberth tanllyd o arogl esmwyth i'r Arglwydd: heb law y poeth offrwm gwastadol yr offrymmir ef ai ddiod offrwm.

25 [u] Ac ar y saithfed dydd, cymanfa sanctaidd fydd i chwi, dim caeth-waith nis gwnewch.

26 [v] Ac ar ddydd eich blaen-ffrwythau, pan offrymmoch fwyd offrwm newydd i'r Arglwydd, wedi eich wythnosau, cymanfa sanctaidd fydd i chwi, dim caeth-waith nis gwnewch.

27 Ond offrymmwch ddau fustach ieuangc, un hwrdd, a saith oen blwyddiaid, yn boeth offrwm, o arogl esmwyth i'r Arglwydd.

28 A [bydded] eu bwyd offrwm o beillied wedi ei gymmyscu drwy olew: tair decfed ran [epha] gyd a phob bustach, dwy ddecfed ran gyd a phob hwrdd.

29 Bob yn ddecfed ran gyd a phob oen, o'r saith oen.

30 [x] Un bwch geifr i wneuthur iawn trosoch.

31 [y] Heblaw y poeth offrwm gwastadol, ai fwyd offrwm, yr offrymmwch [hyn:] byddant gennych yn berffaith-gwbl yng-hyd ai diod-offrwm.

## PEN. XXIX.

*Offrymmau'r wyth niwrnod cyntaf o'r seithfed mis.*

AC [a] yn y seithfed mis, ar y [dydd] cyntaf o'r mis y bydd i chwi gymmanfa sanctaidd, dim caeth-waith nis gwnewch: dydd i * ganu udcyrn fydd efe i chwi.

2 [a] Ond offrymmwch offrwm poeth yn arogl esmwyth i'r Arglwydd: un bustach ieuangc, un hwrdd, saith o wyn blwyddiaid perffaith-gwbl.

3 [b] Ai bwyd offrwm o beillied wedi ei gymmyscu drwy olew, tair decfed ran gyd a'r bustach, a dwy ddecfed ran gyd a'r hwrdd.

4 [c] Ac un ddecfed ran gyd a phob oen, o'r saith oen.

5 [d] Ac un bwch geifr yn bech aberth i wneuthur iawn trosoch.

6 [e] Heb law poeth offrwm y mis, ai fwyd offrwm, a'r poeth offrwm gwastadol, ai fwyd offrwm, ai diod offrwm hwynt, wrth eu defod hwynt yn arogl esmwyth [ac] yn aberth tanllyd i'r Arglwydd.

7 [f] Ac ar y decfed [dydd] o'r seithfed mis hwn cymmanfa sanctaidd fydd i chwi: yna cystuddiwch eich eneidiau, dim gwaith nis gwnewch.

8 Ond offrymmwch yn boeth offrwm i'r Arglwydd o arogl esmwyth un bustach ieuangc, un hwrdd, saith oen blwyddiaid, byddant berffaith-gwbl gennych.

9 Ai bwyd offrwm o beillied wedi ei gymmyscu trwy olew, [sef] tair decfed ran gyd a bustach, a dwy ddecfed ran gyd a phob hwrdd.

10 [g] Bob yn ddecfed ran, gyd a phob oen o'r saith oen.

11 [h] Un bwch geifr yn bech aberth, heb law

pech-aberth yr iawn, a'r poeth offrwm gwastad-
ol, ai fwyd offrwm, ai diod offrwm.
i Lef. 23, 34 12 [i] Ac ar y pymthecfed dydd o'r seithfed mis
Deut. 16, 13 cymanfa sanctaidd fydd i chwi, dim caethwaith
nis gwnewch, eithr cedwch ŵyl i'r Arglwydd
saith niwrnod,
j Deut. 16, 13 13 [j] Ond offrymmwch yn offrwm poeth, yn
Zec. 14, 16 aberth tanllyd o arogl esmwyth i'r Arglwydd,
Ezec. 45, 23 dri ar ddec o fustych ieuaingc, dau hwrdd, ped-
Adn. 17, 20, 23, 26 war ar ddec o ŵyn blwyddiaid, byddant ber-
29, 32 ffaith-gwbl.
14 Ai bwyd offrwm o beilliecl wedi ei gym-
myscu drwy olew, [sef] tair decfed ran gyd a
phob bustach, o'r tri bustach ar ddec: dwy
ddecfed ran gyd a phob hwrdd o'r ddau hwrdd.
15 A phob yn ddecfed ran gyd a phob oen,
o'r pedwar oen ar ddec.
16 Ac un bwch geifr yn bech aberth, heb law
y poeth offrwm gwastadol, ei fwyd offrwm, ai
ddiod offrwm.
k Adn. 20, 23, 26, 29 17 [k] Ac ar yr ail dydd, deuddeng mhustach
32, &c. ieuangc, dau hwrdd, pedwar ar ddec o ŵyn
1 Pedr 3, 18 blwyddiaid perffaith-gwbl.
Sal. 50, 9 18 [l] Ai bwyd offrwm, ai diod offrwm, gyd a'r
Rhuf. 12, 1 bustych, gyd a'r hyrddod, a chyd a'r ŵyn, yn
Sal. 69, 31 ol eu rhifedi, wrth y ddefod.
Hos. 6, 6 19 Ac un bwch geifr yn bech aberth, heb law
1 Cron. 5, 17 y poeth offrwm gwastadol, ai fwyd offrwm, ai
Amos 8, 4 ddiod offrwm.
Deut. 12, 20 Ac ar y trydydd dydd, [yr offrymmwch] un
bustach ar ddec, dau hwrdd, pedwar ar ddec
o ŵyn blwyddiaid perffaith-gwbl.
21 Ai bwyd offrwm, ai diod offrwm gyd a'r
bustych, gyd a'r hyrddod, a chyd a'r ŵyn, yn
ol eu rhifedi wrth y ddefod.
22 Ac un bwch geifr yn bech aberth, heb law
y poeth offrwm gwastadol, ai fwyd offrwm, ai
ddiod offrwm.
23 Ac ar y pedwerydd dydd, deng-mhustach,
dau hwrdd, pedwar ar ddec o ŵyn blwyddiaid
perffaith-gwbl.
m Lef. 7, 14, 15 24 [m] Eu bwyd offrwm, ai diod offrwm, gyd a'r
Gen. 35, 4 bustych, gyd a'r hyrddod, a chyd a'r ŵyn yn ol
Lef. 23, 37 eu rhifedi, wrth y ddefod.
Joel 1, 9, 13 25 [n] Ac un bwch geifr yn bech aberth, heblaw
Sal. 16, 4 y poeth offrwm gwastadol, ei fwyd offrwm, ai
Ex. 29, 40 ddiod offrwm.
n 1 Thes. 5, 7 26 Ac ar y pummed dydd, naw bustach, dau
Act 24, 16 hwrdd, pedwar ar ddec o ŵyn blwyddiaid per-
Heb. 7, 5 ffaith-gwbl.
Ioan 8, 31, 27 Ai bwyd offrwm, ai diod offrwm, gyd a'r
Act. 15, 8 bustych, gyd a'r hyrddod, a chyd a'r ŵyn yn ol
1 Tim. 2, 15 eu rhifedi, wrth y ddefod.
Gal. 2, 5 28 Ac un bwch yn bech aberth, heb law y
poeth offrwm gwastadol, ai fwyd offrwm, ai
ddiod offrwm.
29 Ac ar y chweched dydd, wyth o fustych,
dau hwrdd, pedwar ar ddec o ŵyn blwyddiaid
perffaith-gwbl.
30 Ai bwyd offrwm, ai diod offrwm, gyd a'r
bustych, gyd a'r hyrddod, a chyd a'r ŵyn yn ol
eu rhifedi, wrth y ddefod.
31 Ac un bwch yn bech aberth, heb law y
poeth offrwm gwastadol, ei fwyd offrwm, ai
ddiod offrwm.
32 Ac ar y seithfed dydd, saith o fustych, dau
hwrdd, pedwar ar ddec o ŵyn blwyddiaid per-
ffaith-gwbl.
33 Ai bwyd offrwm, ai diod offrwm, gyd a'r
bustych, gyd a'r hyrddod, a chyd a'r ŵyn yn ol
eu rhifedi, wrth eu defod.
34 Ac un bwch yn bech aberth, heb law y
poeth offrwm gwastadol, ei fwyd offrwm ai ddi-
od offrwm.
35 Ar * yr wythfed dydd uchel-ŵyl fydd i * Lef. 23, 36
chwi, dim caeth-waith nis gwnewch.
36 Ond offrymmwch yn offrwm poeth [ac] yn
aberth tanllyd, o [n] arogl esmwyth i'r Arglwydd, n Eph 5, 2
un bustach, un hwrdd, saith o ŵyn blwyddiaid 1 Sam. 29, 19
perffaith-gwbl. Lef. 26, 3
37 Eu bwyd offrwm, ai diod offrwm, gyd a'r Am. 5, 21 Esa. 3, 24
bustach, a chyd a'r hwrdd, a chyd a'r ŵyn yn Can. 1, 2 Gen. 5, 29
ol eu rhifedi wrth y ddefod. Can. 4, 11
38 Ac un bwch yn bech aberth, heb law y
poeth offrwm gwastadol, ei fwyd offrwm, ai
ddiod offrwm.
39 [o] Hyn a wnewch i'r Arglwydd ar eich gŵyl- o 1 Cor. 10, 31
iau, heb law eich addunedau, a'ch offrymmau Esa. 8, 20
gwirfodd, gyd a'ch offrymmau poeth, a'ch off- Lef. 7, 16 a 22, 23
rymmau bwyd, a'ch offrymmau diod, a'ch off- Deut. 16, 10
rymmau hedd.
40 A dywedodd Moses wrth feibion Israel,
yn ol yr hyn oll a orchymynnase yr Arglwydd
wrth Moses.

## PEN. XXX.

*Pa addunedau fydd rhaid eu cadw, a pha rai a ellir eu torri.*

A [p] LLEFARODD Moses wrth bennaeth- p Pen. 1, 4 16
iaid llwythau meibion Israel, gan ddy- Dat. 2, 1
wedyd, Dymma y peth yr hwn a orchymynnodd Ex. 3, 21
yr Arglwydd.
2 [q] Pan addunedo gŵr adduned i'r Arglwydd, q Lef 7, 16 a 27, 2
neu dyngu llw gan rwymo rhwymedigaeth ar Deut. 23, 21, 22
ei enaid ei hun, na ‡ haloged ei air, gwnaed yn ol Gen. 28, 20
yr hyn oll a ddel allan o'i enau. Lef. 5, 1, 4
3 [r] A phan addunedo benyw adduned i'r Ar- Sal. 56, 12
glwydd, a rhwymo rhwymedigaeth yn nhŷ ei Diar. 7, 14 ‡ thorred
thad, yn ei hieuenctyd; Sal. 55, 20 Mat. 14, 6
4 [s] A chlywed o'i thad ei hadduned, ai rhwymi- Act. 23, 14
edigaeth, yr hwn a rwymodd hi ar ei henaid, a r Adn. 7, 8
thewi o'i thad wrthi: yna safed ei holl adduned- s Gen. 23, 17, Diar. 19, 21

Pen. XXIX. adn. 17.] "Deuddeg bustach." Wele rifedi'r ebyrth lai lai, beb dydd! i ddangos nad yn yr ebyrth, ond "yn Nghrist," yr oedd Duw yn ymfoddloni, a'u bod hwy yn tynnu at ddiwedd beunydd, Heb. ix.

au, a phob rhwymedigaeth, yr hwn a rwymodd
hi ar ei henaid a saif.
tAdn. 7,9 5 ᵗ Ond os ei thad a bâr iddi dorri ar y dydd y
clywo efe ei holl addunedau, ai rhwymedigaeth-
au y rhai a rwymodd hi ar ei henaid ni saif[on:]
a madde'r Arglwydd iddi, o achos mai ei thad a
barodd iddi dorri.
6 Ac os hi gan fod a fydd eiddo gŵr, ai haddun-
edau arni, neu draethiad ei gwefusau yr hwn a
rwymodd hi ar ei henaid,
7 A chlywed oi gŵr, a thewi wrthi y dydd y
clywo, yna safed ei haddunedau: ai rhwymedig-
aethau y rhai a rwymodd hi ar ei henaid a safant.
uGen. 3, 16 8 ᵘ Ond os ei gŵr, ar y dydd y clywo a bâr iddi
dorri, ac a ddiddymma ei hadduned, yr hwn [fydd]
arni, a thraethiad ei gwefusau'r hwn a rwymodd
hi ar ei henaid: yna'r Arglwydd a fadde iddi.
v Luc 2, 37 9 ᵛ Ond adduned y weddw, a'r yscaredic, yr
1Cor. 7,4 hyn oll a rwymo hi ar ei henaid a saif arni.
Lef. 21,7 10 Ond os [yn] nhŷ ei gŵr yr addunedodd, neu y
rhwymodd hi rwymedigaeth ar ei henaid trwy lw:
11 A chlywed oi gŵr, a thewi wrthi heb peri
iddi dorri, yna safed ei holl addunedau, a phob
rhwym yr hwn a rwymodd hi ar ei henaid a saif.
12 Ond os ei gŵr gan ddiddymmu ai diddym-
ma hwynt y dydd y clywo, ni saif dim a ddaeth
allan oi gwefusau, oi haddunedau, ac o rwym-
edigaeth ei henaid, ei gŵr ai diddymmodd hwynt,
ar Arglwydd a fadde iddi.
wEx. 23, 29 13 ʷ Pob adduned a phôb rhwymedigaeth llw,
am gystuddio'r enaid, ei gŵr ai cadarnha, ai
gŵr ai diddymma.
14 Ac os ei gŵr gan dewi a daw wrthi, o ddydd
i ddydd, yna y cadarnhaodd efe ei holl addun-
edau, neu ei holl rwymedigaethau y rhai [oedd-
ynt] arni, cadarnhaodd hwynt, pan dawodd
wrthi y dydd y clybu efe [hwynt.]
15 Ac os efe gan ddiddymmu ai diddymma
hwynt wedi iddo glywed: yna efe a ddwg ei
hanwiredd hi.
xMat. 28, 20 16 ˣ Dymma y deddfau y rhai a orchymyn-
1Cor. 11, 23 nodd yr Arglwydd wrth Moses, rhwng gŵr ai
Gal. 3,28 wraig, a rhwng tâd ai ferch, yn ei hieunctyd [yn]
nhŷ ei thad.

## PEN. XXXI.

*Lladdiad y Madianiaid, a'i hyspail. 49 Y rhan o'r yspail a offrymmwyd i'r Arglwydd.*

A Llefarodd yr Arglwydd wrth Moses gan
ddywedyd,
yPen. 25, 17 2 ʸ Dial di tros feibion Israel ar y Madianiaid,
Deut. 32, 35 wedi [hynny] ti a gesclir at dy bobl.
Gen. 25, 2 3 ᶻ A llefarodd Moses wrth y bobl gan ddyw-
Pen. 20, 24 edyd, Tynnwch o honoch wŷr i'r rhyfel, a bydd-
Deut. 50, 20 ant yn erbyn Madian, i roddi dial yr Arglwydd
ar Madian.
4 Mil dros bob llwyth, o holl lwythau Israel
a anfonwch i'r rhyfel.
5 A rhoddasant o filoedd Israel fil o [bob]
llwyth [sef] deuddeng mil, o rai wedi eu tynnu
[i'r] rhyfel.
6 ᵃ Ac anfonodd Moses hwynt i'r rhyfel, mil aPen. 25, 7
o [bob] llwyth: hwynt a Phinees mab Eleazar Pen. 14, 44
yr offeiriad [a anfonodd efe] i'r rhyfel, a dodrefn Pen. 10,9
y cyssegr, ac udcyrn yr udgân yn ei law.
7 Yna y rhyfelasant yn erbyn Madian, megis
y gorchymynnodd yr Arglwydd wrth Moses,
ac a laddasant bob gwryw.
8 ᵇ Brenhinoedd Madian hefyd, gyd ai lladd- bPen. 25, 15
edigion [eraill] *sef Efi, a Recem, a Zur, a Hur, Pen. 25, 18
a Reba, pum brenin Madian, Balaam hefyd Jos. 13,21
mab Beor a laddasant hwy a'r cleddyf. Pen. 24, 25
9 Meibion Israel a ddaliasant hefyd yn garch- 2Cor. 11, 5
arorion wragedd Madian, ai plant, ac a yspeil- Eph. 4, 8
iasant eu holl anifeiliaid hwynt, ai holl dda Jos. 13, 21
hwynt, ai holl olud hwynt.
10 Eu holl ddinasoedd hefyd drwy eu trigfan-
nau, ai holl dyrau a losgasant a thân.
11 A chymmerasant yr holl yspail, a'r holl
gaffaeliaid o ddyn, ac o anifail.
12 ᶜ Ac a ddugasant at Moses, ac at Eleazar yr cAdn. 32
offeiriad, ac at gynnulleidfa meibion Israel, y Deut. 1,
carcharorion, a'r caffaeliaid, a'r yspail, wrth y
gwerssyll, i rosydd Moab, y rhai [ydynt] am yr
Iorddonen ag Iericho.
13 ᵈ Yna Moses ac Eleazar yr offeiriad, a holl dGen.
bennaduriaid y gynnulleidfa a aethant i'w cyf- 
arfod hwynt o'r tu allan i'r gwerssyll.
14 A digiodd Moses wrth swyddogion y fy-
ddin, capteniaid y miloedd, a chapteniaid y can-
toedd, y rhai a ddaethant o filwriaeth y rhyfel.
15 A dywedodd Moses wrthynt, a adawsoch
chwi bôb benyw yn fyw?
16 Wele * hwynt trwy air Balaam fuant i *Pen. 24, 14, a 25
roddi ar feibion Israel gamwedd yn erbyn yr 2 Petr. 2, 15
Arglwydd, yn achos Peor, a bu pla yng-hyn-
nulleidfa yr Arglwydd.
17 ᵉ Am hynny * lleddwch yn awr bôb gwryw eGen. a 19, 1
o blentyn, a lleddwch bob benyw a fu iddi a Lef. a 20, 13
wnaeth a gwr. Luc. 1, Barn. 21, 11
18 A phôb plentyn o'r benywaid y rhai ni bu
iddynt a wnaethant a gŵr, cedwch yn fyw i chwi.
19 ᶠ Ac arhoswch chwithau o'r tu allan i'r fLef. 15, 13
gwerssyll saith niwrnod, pob un a laddodd ddyn, *Pen. 11
a * phob un a ᵍ gyffyrddodd wrth laddedig, ym- g1Cor. 17
lanhewch y trydydd dydd a'r seithfed dydd, Diar. 13
chwi a'ch carcharorion. Pen.
20 ʰ Pob gwisc hefyd, a phob dodrefnyn croen, a 19,
a phob gwaith o [flew] geifr, a phob llestr pren a Sal 9 hLef. 15
lanhewch chwi.
21 ⁱ A dywedodd Eleazar yr offeiriad wrth y iDeut. 8
rhyfelwŷr y rhai a aethant i'r rhyfel: dymma Rhuf.
ddeddf y gyfraith yr hon a orchymynnodd yr 26
Arglwydd wrth Moses.
22 Yn unic yr aur, a'r arian, a'r prês, a'r haiarn,
a'r plwm.

23 [A] phôb dim yr hwn a ddaw i'r tân, a dynnwch drwy'r tân a glân fydd: ac etto efe a lanheuir * mewn dwfr nailldduaeth, a'r hyn oll ni ddaw i'r tân tynnwch drwy'r dwfr [yr unic.]

24 Yna golchwch eich gwiscoedd ar y seithfed dydd, a glân fyddwch, ac wedi hynny deuwch i'r gwerssyll.

25 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses gan ddywedyd,

26 Cymmer nifer yr yspail a gaed o ddyn ac o anifail, ti ac Eleazar yr offeiriad, a phennau cenedl y gynnulleidfa.

27 h A rhan di y caffaeliaid rhwng y rhyfelwŷr, y rhai a aethant i'r filwriaeth, a'r holl gynnulleidfa.

28 i A chyfot deyrnged i'r Arglwydd gan y rhyfelwyr y rhai a aethant allan i'r filwriaeth: un o [bôb] pum cant o'r dynion, ac o'r eidionnau ac o'r assynnod, ac o'r defaid.

29 m Cymmerwch [hyn] oi hanner hwynt, a dyro at Eleazar yr offeiriad yn dderchafel offrwm yr Arglwydd.

30 n Ac o hanner meibion Israel y cymmeri un rhan, o [bôb] dec a deugain o'r dynion o'r eidionnau, o'r assynnod, ac o'r defaid, [ac] o bôb anifail: a dot ti hwynt i'r Lefiaid y rhai ydynt yn gorchwylio tabernacl yr Arglwydd.

31 A gwnaeth Moses ac Eleazar yr offeiriad megis y gorchymynnodd yr Arglwydd wrth Moses.

32 A'r caffaeliad sef gweddill yr yspail yr hon a yspeiliase pobl y filwriaeth oedd, chwe chant mil, a phymthec a thrugain o filoedd o ddefaid.

33 A deuddec a thrugain mil o eidionnau.

34 Ac un mil a thrugain o assynnod.

35 A phôb enaid dyn, o fenywod, y rhai ni buase iddynt a wnaethant a gŵr [oeddynt] ddeuddeng mil enaid ar hugain.

36 A'r hanner [sef] rhan y rhai a aethant i'r rhyfel oedd o rifedi defaid drychant mil, a dwy ar bymthec ar hugain o filoedd, a phum cant.

37 A theyrnged yr Arglwydd o'r defaid oedd chwechant, a phymthec a thrugain.

38 A'r eidionnau [oeddynt] un mil ar bymthec ar hugain, ai teyrnged i'r Arglwydd [oedd] deuddec a thrugain.

39 o A'r assynnodd [oeddynt] ddeng mil ar hugain, a phum cant, ai teyrnged i'r Arglwydd [oedd] un a thrugain.

40 A'r dynion [oeddynt] un mil ar bymthec, ai teyrnged i'r Arglwydd [oedd] ddeuddec enaid ar hugain.

41 p A Moses a rodd deyrnged offrwm derchafel yr Arglwydd at Eleazar yr offeiriad: megis y gorchymynnase yr Arglwydd wrth Moses.

42 Ac o ran meibion Israel, yr hon a rannase Moses oddi wrth y mil-wyr,

43 Sef rhan y gynulleidfa o'r defaid oedd, drychant mil, a dwy ar bymthec ar hugain o filoedd, a phum cant.

44 Ac [o'r] eidionnau un mil ar bymthec ar hugain.

45 Ac [o'r] assynnod deng mil ar hugain, a phum cant.

46 Ac [o'r] dynion un mil ar bymthec.

47 q A chymmerodd Moses o hanner meibion Israel un rhann o [bôb] dec a deugain o'r dynion, ac o'r anifeiliaid, ac ai rhoddes hwynt i'r Lefiaid y rhai oeddynt yn gorchwylio tabernacl yr Arglwydd: megis y gorchymynnase yr Arglwydd wrth Moses. [q Act. 20,28. Heb. 13,7,17. Sal. 134,1. Esa. 56,10,11]

48 Yna y swyddogion y rhai [oeddynt] ar filoedd y filwriaeth a ddaethant at Moses [sef] capteniaid y miloedd, a chapteniaid y cantoedd.

49 r A dywedasant wrth Moses, Dy weision a gymmerasant nifer y gwŷr o ryfel, y rhai [a roddaist] dan ein dwylo ni, ac nid oes ŵr yn eisie o honom. [r 2 Sam. 11,25. Sal. 116,15. a 72,14. Ioan 18,9]

50 s Am hynny yr offrymmwn offrwm i'r Arglwydd, pob un yr hyn a gaffo yn offeryn aur, yn fraichled, yn gadwyn, yn fodrwy, yn glustdlws, ac yn arffedog, i wneuthur iawn tros ein heneidiau ger bron yr Arglwydd. [s Ex. 4,22. Ex. 30,2]

51 A chymmerodd Moses ac Eleazar yr offeiriad yr aur ganddynt, yn ddodrefn gweithgar oll.

52 t Ac yr ydoedd holl aur yr offrwm derchafel, yr hwn a dderchafasant i'r Arglwydd oddi wrth gapteniaid y miloedd, ac oddi wrth gapteniaid y cantoedd, yn un mil ar bymthec, saith gant, a dec a deugain o siclau. [t Gen. 20,16]

53 Yspeiliase y gwŷr o ryfel, bob un iddo ei hun.

54 u A chymmerodd Moses, ac Eleazar yr offeiriad yr aur gan gapteniaid y miloedd, a'r cantoedd, ac ai dugasant i babell y cyfarfod, yn goffadwriaeth dros feibion Israel, ger bron yr Arglwydd. [u Ios. 4,7. Sal. 115,1]

## PEN. XXXII.

*Tylwyth Ruben a Gad a ofynnasant y tir a ydoedd y tu hwnt i'r Iorddonen, ac ai cawsant tan ammod, iddynt hwy, ac i hanner llwyth Manasses.*

AC v yr ydoedd anifeiliaid lawer i feibion Ruben, a llawer iawn i feibion Gad: a gwelsant dir Iaser, a * thir Gilead, ac wele y lle yn lle [da] i anifeiliaid. [v Gen. 46,32. a 29,48. a 30,11. Pen. 21,32. Deut. 3,12. Mic. 7,14]

2 Yna meibion Gad, a meibion Ruben a ddaethant, ac a ddywedasant wrth Moses, ac wrth Eleazar yr offeiriad, ac wrth holl bennaduriaid y gynnulleidfa, gan ddywedyd, [*Gen. 31,47]

3 w Ataroth, a Dibon, ac Iazer, a Nemrab, a x Hesbon, ac Elealeh, a Sabam, a Nebo, a Beon. [w Ios. 16. 21,13,9,17. x Pen. 21,26]

4 y [Sef] y tir yr hwn a darawodd yr Arglwydd o flaen cynnulleidfa Israel, tir i anifeiliaid yw efe, ac [y mae] i'th weision anifeiliaid. [Ios. 18,15. y Deut. 3,35. Sal. 44,2,3]

z Pen. 26, 55 5 ᶻA dywedasant, Os cawsom ffafor yn dy olwg rhodder y tir hwn i'th weision yn etifeddiaeth: na phâr i ni fyned trwy'r Iorddonen.

6 A dywedodd Moses wrth feibion Gad, ac wrth feibion Ruben, Ai eich brodyr a ant i'r rhyfel, a chwithau a arhoswch yma?

a Deut. 1, 28 Act. 21, 13 7 ᵃA pha ham y digalonnwch feibion Israel rhac myned trosodd i'r tir yr hwn a rodd yr Arglwydd iddynt?

8 Felly y gwnaeth eich tadau, pan anfonais hwynt o Cades Barnea i edrych y tir.

*Pen. 13, 23, 24 Deut. 1, 24 9 Canys aethant i fynu hyd *ddyffryn Escol, a gwelsant y tir, a digalonnasant feibion Israel rhac myned i'r tir yr hwn a roddase yr Arglwydd iddynt.

10 Ac enynnodd digllonedd yr Arglwydd y dydd hwnnw, ac efe a dyngodd, gan ddywedyd,

*Pen. 13, 28 11 Nid byw fi os *y dynion a ddaethant i fynu o'r Aipht, o fab ugain mlwydd ac uchod, a welant y tir yr hwn a addewais trwy lŵ i Abraham, Isaac, ac i Iacob, am na chyflawnasant [wneuthur ar fy ol i.

b Ios. 15, 17 Barn. 1, 13 1 Cron. 4, 13 12 ᵇOnd Caleb mab Iephun y Ceneziad, a Iosuah mab Nun, canys cyflawnasant [wneuthur] ar ol yr Arglwydd.

c Pen. 14, 33 Pen. 26, 64 13 ᶜAc enynnodd digllonedd yr Arglwydd yn erbyn Israel, a gwnaeth iddynt grwydro yn yr anialwch ddeugain mlhynedd, nes darfod yr holl oes yr hon a wnaethe y drygioni yng-olwg yr Arglwydd.

d Deut. 1 26 14 ᵈAc wele chwi a godasoch yn lle eich tadau yn gynnyrch dynion pechadurus, i chwanegu ar ddigllonedd soriant yr Arglwydd wrth Israel.

e Marc 1, 20 Mat. 4, 22 15 ᵉOs dychwelwch oddi ar ei ol ef yna efe a âd y bobl etto yn yr anialwch, a chwi a ddinistriwch yr holl bobl hyn.

16 Yna y daethant atto, ac a ddywedasant, Corlannau defaid a adailadwn ni ymma i'n hanifeiliaid, a dinasoedd i'n plant.

f Ios. 4, 12, 13 17 ᶠA nyni a ymarfogwn yn fuan o flaen meibion Israel, hyd oni ddygom hwynt iw lle eu hun: a'n plant a arhosant yn y dinasoedd caeroc rhac trigolion y tir.

g Gen. 13, 10. a 14, 12 4 Bren. 17 6 18 Ni ddychwelwn ni i'n tai, nes i feibion Israel feddianu bob un ei etifeddiaeth.

1 Cron. 5, 25 19 ᵍHefyd ni etifeddwn gyd a hwynt o'r tu hwnt i'r Iorddonen, ac oddi yno allan: am ddyfod ein etifeddiaeth i ni o'r tu ymma i'r Iorddonen tua 'r dwyrain.

h Ios. 4, 13 Pen. 31, 3 Barn. 5, 23 1 Sam. 18, 17 20 ʰA *dywedodd Moses wrthynt, Os gwnewch y peth hyn, os ymarfogwch i'r rhyfel o flaen yr Arglwydd:

i Ios. 4, 12 Pen. 26, 2 7, 18; 34 Sal. 44, 2, 3 21 ⁱOs aiff pob un o honoch dros yr Iorddonen yn arfog o flaen yr Arglwydd, nes iddo orescynn ei elynion oi flaen:

Barn. 7, 2 2 Sam. 5, 28 Deut. 3, 18 Adn. 33 22 ʲA darostwng y wlad o flaen yr Arglwydd, yna wedi hynny y cewch ddychwelyd, ac y byddwch ryddion oddi wrth yr Arglwydd, ac oddiwrth Israel: yna y bydd y tir hwn yn etifeddiaeth i chwi o flaen yr Arglwydd.

23 ᵏOnd os chwi ni wna fel hyn, wele pechu yr ydych yn erbyn yr Arglwydd, a gwybyddwch y goddiwedda eich pechod chwi. k Lef. 26, 9 Gen. 44, 34 Esa. 59, 12

24 Adailedwch i chwi ddinasoedd i'ch plant, a chorlannau i'ch defaid, a gwnewch yr hyn a ddaeth allan o'ch genau. 1 Bren. 2, 44 Gen. 4, 7

25 ˡA llefarodd meibion Gad, a meibion Ruben wrth Moses gan ddywedyd: Dy weision a wnant megis y mae fy arglwydd yn gorchymmyn. l Pen. 30, 3 Deut. 23, 23 Mat. 5, 33 Ios. 4, 12

26 Ein plant, ein gwragedd, ein hanifeiliaid, a'n holl scrubliaid fyddant ymma yn ninasoedd Gilead.

27 A'th weision ᵐa ânt trossodd o flaen yr Arglwydd i'r rhyfel, pob un yn arfog i'r filwriaeth, megis y mae fy arglwydd yn llefaru. m Eph. 6, 12, 13 2 Tim. 4, 7, 8 1 Cor. 16, 13 Heb. 4, 12

28 A gorchymmynnodd Moses i Eleazar yr offeiriad, ac i Iosuah fab Nun, ac i beunau cenedl llwythau meibion Israel oi plegit hwynt.

29 ⁿA dywedodd Moses wrthynt, Os meibion Gad, a meibion Ruben a ânt dros yr Iorddonen gyd a chwi, pob un yn arfog i'r rhyfel o flaen yr Arglwydd, yna pan ddarostynger y wlad o'ch blaen rhoddwch iddynt wlâd Gilead yn etifeddiaeth. n 2 Tim. 4, 7, 8 1 Pet. 5, 8 1 Cor. 9, 24, 25

30 Ac onid ânt drossodd gyda chwi yn arfogion, yna cymmerant eu etifeddiaeth yn eich mysc chwi yng-wlad Canaan.

31 Yna meibion Gad, a meibion Ruben a attebasant, gan ddywedyd: Fel y llefarodd yr Arglwydd wrth dy weision felly y gwnawn ni.

32 Nyni a awn trossodd i dir Canaan yn arfogion o flaen yr Arglwydd, fel [y byddo] meddiant ein etifeddiaeth o'r tu ymma i'r Iorddonen genym ni.

33 A *rhodd Moses iddynt [sef] i feibion Gad, ac i feibion Ruben, ac ᵒi hanner llwyth Manasses mab Ioseph, frenhiniaeth Sehon brenin yr Amoriaid, a brenhiniaeth Og brenin Basan, y wlad ai dinasoedd ar hyd y terfynau, [sef] dinasoedd y wlad oddi amgylch. *Deut. 3, 12, 17 o Ios. 13, 8 a 13, 31 22, 4

34 A meibion Gad a adailadasant Dibon, ac Ataroth, ac Aroer.

35 Ac Atroth, Sophon, a Iaazer, a Iogbea.

36 Bethnimra hefyd, a Betharan, dinasoedd caeroc, a chorlannau defaid.

37 A meibion Ruben a adailadasant Hesbon, Eleale a Chiriathaim:

38 ᵖNebo hefyd a Balmeon wedi troi [eu] henwau, a Sibamah: ac a henwasant henwau y dinasoedd y rhai a adailadasant. p Barn. 31 Esa. 46 Esa. 15 Gen.

39 Yna *meibion Machir mab Manasses a aethant i Gilead, ac ai henillasant hi, ac a orescynnasant yr Amoriaid y rhai [oeddynt] ynddi. *Gen. 50, 23

40 [q] A rhodd Moses Gilead i Machir fab
Manasses, ac efe a drigodd ynddi.
41 Ac * aeth Iair mab Manasses, ac [r] a ennill-
odd eu trefydd hwynt, ac ai galwodd hwynt
trefydd Iair.
42 Ac aeth Nobah, ac a ennillodd Cenath, ai
phentrefydd: ac ai galwodd ar ei enw ei hun
Nobah.

## XXXIII.

*1 Teithiau 'r Israeliaid. 51 Duw yn gorchymyn iddynt ddinistrio y Canaaneaid ai heulynnod.*

DYMMA [s] deithiau meibion Israel y rhai
a ddaethant allan o dir yr Aipht yn eu [t]
lluoedd dan law Moses ac Aaron.
2 [u] A Moses a scrifennodd eu dyfodiad hwynt
allan yn eu teithiau, wrth archedigaeth yr Ar-
glwydd: ac dymma eu teithiau hwynt yn eu
dyfodiad allan.
3 [v] Sef cychwnnasant * o Rameses, o fewn y
mis cyntaf, ar y pymthecfed dydd o'r mis cyn-
taf: trannoeth wedi 'r Pasc yr aeth meibion Is-
rael allan a llaw uchel yng-olwg yr Aiphtiaid oll.
4 [w] Yna yr Aiphtiaid oeddynt yn claddu pob
cyntafanedic, y rhai a laddase yr Arglwydd yn
eu mysc, a gwnaethe yr Arglwydd farn yn er-
byn eu duwiau hwynt hefyd.
5 [x] A meibion Israel a gychwnnasant o Ram-
eses, ac a werssyllasant yn Succoth.
6 A chychwnnasant o * Succoth, a gwers-
syllasant yn Etham yr hon [sydd] yng-hwrr
yr anialwch.
7 [y] A chychwnnasant o Etham, a throesant i
Pi-Hahiroth, yr hon [sydd] o flaen Baal Sephon,
ac a werssyllasant o flaen Migdal.
8 A chychwnnasant o Pi-Hahiroth, ac aeth-
ant * trwy ganol y môr i'r anialwch, a cherdd-
asant daith tri diwrnod yn anialwch Etham, a
gwerssyllasant yn [z] Marah.
9 A chychwnnasant o Marah, a daethant i
Elim, ac yn Elim [yr ydoedd] deuddec o ffyn-
honnau dwfr, a dec a thrugain * o balm-wŷdd: a
gwerssyllasant yno.
10 A chychwnnasant o Elim, a gwerssyllasant
wrth y môr coch.
11 A chychwnnasant oddi wrth y môr coch,
a gwerssyllasant yn * anialwch Zin.
12 Ac o anialwch Zin y cychwnnasant, ac y
gwerssyllasant yn Daphca.
13 A chychwnnasant o Daphca, a gwerssyll-
asant yn Alus.
14 A chychwnnasant o Alus, a gwerssyllas-
ant yn * Raphidim, ac yno nid oedd dwfr i'r bobl
iw yfed.
15 [a] A chychwnnasant o Raphidim, a gwer-
ssyllasant yn * anialwch Sinai.
16 A chychwnnasant o anialwch Sinai, a gwer-
ssyllasant ym * Meddau y blŷs.

17 A chychwnnasant o Feddau y blŷs, a
gwerssyllasant yn * Hazeroth. *Pen.11, 35
18 A chychwnnasant o Hazeroth, a gwerssyll- a 12, 1, 2
asant yn Rithma.
19 A chychwnnasant o Rithma, a gwerssyllas-
ant yn Rimon Phares.
20 [b] A chychwnnasant o Rimon Phares, a b Deut. 1, 1
gwerssyllasant yn Libna.
21 A chychwnnasant o Libna, a gwerssyllas-
ant yn Rissa.
22 A chychwnnasant o Rissa, a gwerssyllasant
yn Cehelatha.
23 A chychwnnasant o Cehelatha, a gwerssyll-
asant ym mynydd Sepher.
24 A chychwnnasant o fynydd Sepher, a
gwerssyllasant yn Harada.
25 A chychwnnasant o Harada, a gwerssyll-
asant yn Maceloth.
26 A chychwnnasant o Maceloth, a gwerssyll-
asant yn Thahath.
27 A chychwnnasant o Thahath, a gwerssyll-
asant yn Tharath.
28 A chychwnnasant o Tharath, a gwerssyll-
asant yn Mithca.
29 A chychwnnasant o Mithca, a gwerssyll-
asant yn Hasmonah.
30 [c] A chychwnnasant o Hasmonah, a gwer- c Deut.10 6
ssyllasant yn Moseroth.
31 [d] A chychwnnasant o Moseroth, a gwer- d 1 Cro.1, 42
ssyllasant yn Bene Iaacan.
32 [e] A chychwnnasant o Bene Iaacan, a gwer- e Deut.10 7
ssyllasant yn Horgadgad.
33 A chychwnnasant o Horgadgad, a gwer-
ssyllasant yn Iethebatha.
34 A chychwnnasant o Iethebatha, a gwer-
ssyllasant yn Abrona.
35 [f] A chychwnnasant o Abrona, a gwerssyll- f Deut.2, 8
asant yn Ezeon Gaber. 1 Bren.9, 26
36 A chychwnnasant o Ezeon Gaber, a gwer- a 22, 48
ssyllasant yn * anialwch Zin, hwnnw yw Cades. Pen. 14, 25
37 [g] A chychwnnasant o Cades, a gwerssyllas- *Pen. 13, 21
ant ym-mynydd Hor, yng-hwrr tir Edom. a 20, 2
38 Ac * Aaron yr offeiriad a aeth i fynydd g Pen.20, 23
Hor, wrth archedigaeth yr Arglwydd, ac a fu *Pen.20, 24
farw yno yn y ddeugainfed flwyddyn, wedi
myned meibion Israel allan o dir yr Aipht, yn
y pummed mis, ar y [dydd] cyntaf o'r mis.
39 Ac Aaron [ydoedd] fab tair blwydd ar
hugain a chant pan fu farw ym mynydd Hor. * Deut. 32, 50
40 A brenin * Arad y Canaanead, ac efe yn *Pen.21,1
trigo yn y dehau yn nhir Canaan, a glybu o Pen. 21, 2 3
ddyfodiad meibion Israel.
41 A chychwnnasant o * fynydd Hor, a gwers- *Pen. 21, 4
syllasant yn Zalmona.
42 A chychwnnasant o Zalmona, a gwerssyll-
asant yn Phunon.
43 A chychwnnasant o Phunon, a gwerssyll-

*Pen. 21, 10 asant yn *Oboth.
44 A chychwnnasant o Oboth, a gwerssyllas-
ant yn Iim Abarim, ar derfyn Moab.
h Ios. 13, 15 45 [h] A chychwnnasant o Iim Abarim, a
*Ier. 48, 22 gwerssyllasant yn Dibon Gad.
46 A chychwnnasant o Dibon Gad, a gwers-
syllasant yn Almon Diblathaim.
i Deut. 32, 49 47 [i] A chychwnnasant o Almon Diblathaim, a
gwerssyllasant ym mynyddoedd Abarim o flaen
Nebo.
48 A chychwnnasant o fynyddoedd Abarim,
a gwerssyllasant yn rhossydd Moab am yr
Iorddonen ag Iericho.
j Ios. 13. 15 Ezec. 25, 9 49 [j] A gwerssyllasant wrth yr Iorddonen, o
Beth Iesimoth hyd wastadedd * Sittim yn
*Pen. 25, 1, rhossydd Moab.
*Abel. Nifer eu teithiau o'r Aipht hyd yma yw 42, Mat 1,17 50 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, yn
rhossydd Moab am yr Iorddonen ag Iericho,
gan ddywedyd,
51 Llefara wrth feibion Israel, a dywet wrth-
Deut. 9, 15 ynt, Gan eich bod chwi yn * myned tros yr
*Deut. 7, 2 Iorddonen i dir Canaan:
Ios. 11. 11 52 [k] Gorescynnwch chwithau holl drigolion y
k Deut. 7, 1, 2 tir o'ch blaen, a dinistriwch eu holl luniau hwynt,
Lef. 26, 1 dinistriwch hefyd eu holl ddelwau tawdd, a
Ex. 20, 4 difwynwch hefyd eu holl uchelfeudd hwynt.
Lef. 26, 30 53 [l] Ië gorescynnwch y tir, a thrigwch ynddo:
Mes. 7, 17 canys rhoddais y tir i chwi iw orescyn.
m Pen. 26, 55 54 [m] Rhennwch hefyd y tir yn etifeddiaeth
*Pen. 26, 54 trwy eich teuluoedd wrth goelbren, * i'r [teulu]
aml chwanegwch ei etifeddiaeth, ac i'r anaml
prinhewch ei etifeddiaeth, bydd eiddo [pob un
y man] lle yr el y coelbren allan iddo: yn ol
llwythau eich tadau yr etifeddwch.
n Ios. 23, 13 55 [n] Ac oni orescynnwch bresswylwyr y tir
Ezec. 28, 24 o'ch blaen, yna y bydd y rhai a weddillwch o
Sal. 106, 34, 35 honynt yn * gethri yn eich llygaid, ac yn ddraen
*Ios. 23, 13 yn eich ystlyssau, a blinant chwi yn y tir yr
hwn y trigwch ynddo.
Barn. 2, 3 Ex. 23, 33 56 A bydd [mai] megis yr amcenais wneuthur
Deut. 7, 10 iddynt hwy y gwnaf i chwi.

## PEN. XXXIV.

*Terfynau gwlad Canaan, a'i dosparthwyr.*

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Moses,
gan ddywedyd,
o Sal. 78, 55 2 [o] Gorchymyn i feibion Israel, a dywet wrth-
a 16, 6. ynt, Pan ddeloch chwi i dir Canaan, dymma y
Act. 26, 18 tir a syrth i chwi yn etifeddiaeth, [sef] gwlad
Sal. 74, 17 Canaan tan ei therfynau.
Act. 17, 26 3 [p] Yna bydded i chwi y tu dehau o anialwch
Gen. 10, 19 Zin ger llaw Edom: a therfyn y dehau fydd i
Deut. 1, 7 chwi, o gwrr y môr heli, tu a'r dwyrain.
*Pen 33, 36 4 [q] A'r terfyn a amgylchyna i chwi o'r dehau
Ios. 15, 1, 2 i riw Acrabim, ac a aiff trossodd i Zin: ai fyned-
Gen. 14, 3 q Deut. 8 15 iad allan fydd o'r dehau i Cades Barnea, ac aiff
Ios. 15, 3 allan i faes-dref Adar, a throssodd i Azmon.
r Ios. 15, 3 Gen. 15, 18 5 [r] A'r terfyn a amgylchyna o Azmon i afon yr
Aipht, ai fynediad ef allan a fydd tua'r gorllewin.
6 A therfyn y gorllewin fydd y môr mawr i chwi,
sef y terfyn hwn fydd i chwi yn derfyn gorllewin.
7 [s] A hwn fydd terfyn y gogledd i chwi o'r
môr mawr y terfynwch i chwi fynydd Hor.
8 [t] O fynydd Hor y terfynwch nes dyfod i
Hamath, a diwedd y terfyn fydd Zedadah.
9 [u] A'r terfyn a aiff allan tua Ziphron, ai ddi-
wedd ef fydd *Hazar Enan, hwn fydd terfyn y
gogledd i chwi.
10 [v] A therfynwch i chwi yn derfyn y dwyr-
ain, o Hazar Enan i Sepham.
11 [w] Ac aed y terfyn i wared o Sepham i Ribla,
ar du dwyrain Ain, yna descynned y terfyn, ac
aed hyd ystlys môr Cinnereth tua'r dwyrain.
12 [x] Ac aiff y terfyn i wared tua'r Iorddonen,
ai ddiwedd fydd y môr heli: dymma y tir fydd
i chwi dan ei derfynau oddi amgylch.
13 A gorchymynnodd Moses i feibion Israel,
gan ddywedyd, Dymma y tir yr hwn a rennwch
yn etifeddiaethau wrth goel-bren, yr hwn y
gorchymynnodd yr Arglwydd ei roddi i'r naw
llwyth, ac i'r hanner llwyth.
14 [y] Canys cymmerase *llwyth meibion Ruben
yn ol tŷ eu tadau, a llwyth meibion Gad yn ol
tŷ eu tadau, a hanner llwyth Manasses: cym-
merasant [meddaf] eu hetifeddiaeth.
15 Dau lwyth a hanner llwyth a gymmeras-
ant eu hetifeddiaeth am yr Iorddonen ag Iericho,
tua 'r dwyrain oddiwrth godiad [haul.]
16 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Moses,
gan ddywedyd,
17 [z] Dymma henwau y gwŷr y rhai a rannant
y tir yn etifeddiaeth i chwi, Eleazar yr offeiriad,
ac Iosuah mab Nun.
18 [a] Ac un pennaeth o bob llwyth a gymmer-
wch i rannu y tir yn etifeddiaethau.
19 [b] Ac fel dymma henwau y gwŷr: tros
lwyth Iuda, Caleb mab Iephun.
20 [c] A thros lwyth meibion Simeon, Semuel
mab Ammihud.
21 Tros lwyth Beniamin, Eldad mab Cisson.
22 A Bucci mab Iogli yn bennaeth tros
lwyth meibion Dan.
23 O feibion Ioseph, Haniel mab Ephod yn
bennaeth dros lwyth meibion Manasses.
24 Cemuel hefyd mab Siphtan yn bennaeth
tros lwyth meibion Ephraim.
25 A Elisaphan mab Pharnach, yn bennaeth
tros lwyth meibion Zabulon.
26 Paltiel hefyd mab Asan, yn bennaeth tros
lwyth meibion Issachar.
27 Ac Ahihud mab Salomi yn bennaeth
tros lwyth meibion Aser.
28 Ac yn bennaeth tros lwyth meibion Neph-
thali, Pedael mab Ammihud.
29 [d] Dymma y rhai a orchymynnodd yr Ar-

glwydd iddynt rannau etifeddiaethau i feibion
Israel yn nhir Canaan.

## PEN. XXXV.

*Yr Arglwydd yn gorchymyn rhoi trefi a thir i'r Lefiaid: 6 A bod rhai o'r trefi hynny yn noddfáu, ac yn dangos beth a wneir i'r llaw-ruddiog, sef yr hwn a laddo ddyn: a pha destiolaeth a gymmerir iw erbyn.*

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Moses
yn rhossydd Moab, am yr Iorddonen ag
Iericho, gan ddywedyd,
ePen.24, 2 ᵉGorchymmyn i feibion Israel roddi o ho-
23 Diar. 3,6 nynt i'r Lefiaid o etifeddiaeth eu meddiant ddi-
Gal. 6, 6 Ezec.45, nasoedd i drigo: rhoddwch hefyd i'r Lefiaid faes
1 pentrefol wrth y dinasoedd oi hamgylch.
a 48, 9 10, 11 3 A'r dinasoedd fyddant iddynt i drigo [yn-
ddynt,] ai pentrefol feusydd fyddant iw hani-
feiliaid, ac iw cyfoeth, ac i'w holl fwyst-filod.
4 A meusydd pentrefol y dinasoedd y rhai a
roddwch i'r Lefiaid [a gyrhaeddant] o fur y
ddinas tu ac allan, fil o gufyddau o amgylch.
fPen.34, 5 ᶠA mesurwch o'r tu allan i'r ddinas, o du'r
3 dwyrain yn ddwy fil o gufyddau, a thu'r dehau
yn ddwy fil o gufyddau, a thu'r gorllewyn yn
ddwy fil o gufyddau, a thu'r gogledd yn ddwy fil
o gufyddau: a'r ddinas [fydd] yn y canol: hyn
fydd iddynt yn feusydd pentrefol y dinasoedd.
6 Ac o'r dinasoedd y rhai a roddwch i'r Lef-
Deut.4, iaid,[bydded] *chwech yn ddinasoedd noddfa, y
41. a 19 2 Jos. 20, 2 rhai a roddwch fel y gallo y llawruddiog ffoi yno:
Ex 21, 13 Gen. 49 a rhoddwch *ddwy ddinas a deugain attynt hwy.
0 7 Yr holl ddinasoedd y rhai a roddwch i'r
Heb.6,18 Esa. 4, 6 Lefiaid [fyddant] wyth ddinas a deugain, hwynt
Mat. 11, 8 ai pentrefol feusydd.
Jos. 21, 19 Gen 49,5 8 ʰA'r dinasoedd y rhai a roddwch [fyddant] o
Ex.3 ,29 feddiant meibion Israel, oddi ar yr aml [ei ddi-
Deut.33, 9 nasoedd] y rhoddwch yn aml, ac oddi ar y prin y
Pen.33, 4 rhoddwch yn brin, pob un yn ol ei etifeddiaeth
yr hon a etifeddant a rydd i'r Lefiaid oi dinasoedd.
9 A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan
ddywedyd,
Deut.19 10 Llefara wrth feibion Israel, a dywet wrth-
ynt, Pan eloch tros yr Iorddonen, i dir Canaan,
11 Yna gosodwch i chwi ddinasoedd: dinas-
oedd noddfa fyddant i chwi, ac yno y ffŷ y llaw-
ruddiog yr hwn a laddo ddŷn mewn amryfusedd.
12 A'r dinasoedd fyddant i chwi yn noddfa
rhac y dialudd: fel na ladder y llawruddiog
hyd oni safo ger bron y gynnulleidfa mewn barn.
13 Ac o'r dinasoedd y rhai a roddwch, chwech
fyddant i chwi yn ddinasoedd noddfa.
Deut. 4. 14 ʲTair dinas a roddwch o'r tu ymma i'r Ior-
1 ... 2.,7 ddonen, a thair dinas a roddwch yn nhir Canaan:
dinasoedd noddfa fyddant hwy.
Deut. 15. ᵏI feibion Israel, ac i'r dieithr, ac i'r alltud
... [yr hwn a fyddo] yn eich mysc, y bydd y chwe
... 21,4 Deut.10 dinas hyn yn noddfa: fel y gallo pob un a laddo
1, 2 Gen. 9,6 ddŷn mewn amryfusedd ffoi yno.
Mat. 17, 16, 23. 16 *Ac os ag offeryn haiarn y tarawodd ef fel
y bu farw, llawruddiog yw efe: lladder y llaw-
ruddiog yn farw.
17 Ac os a charrec law yr hon y bydde efe farw
oi phlegit, y tarawodd ef, ai farw, llawruddiog
yw efe, lladder y llawruddiog yn farw.
18 Neu os efe ai tarawodd ef a llaw-ffon yr
hon y bydde efe farw oi phlegit, ai farw, llaw-
ruddiog yw efe, lladder y llawruddiog yn farw.
19 Dialudd y gwaed a ladd y llawruddiog *Deut.19
pan gyfarfyddo ag ef, lladded ef. 11, 12 Adn. 13,
20 ᵐAc os * mewn câs y gwthia efe ef, neu y 30 m Diar.
teifl atto mewn bwriad, fel y byddo efe farw. 26, 24 Adn. 21,
21 Neu ei daro ef ai law mewn gelynastra fel Gen. 4,5,
y byddo farw, lladder yn farw yr hwn ai ta- 8 1Sam.24,
rawodd, llofrudd yw hwnnw: dialudd y gwaed 11 Luc 11,
a ladd y llofrudd pan gyfarfyddo ag ef. 54 Act. 23,
22 Ond * os yn ddisymmwth heb gâs y gwthia 21
efe, neu y teifl atto un offeryn yn ddifwriad: Barn. 16,
23 Neu [ei daro ef] a charrec yr hon y bydde 2 Galar. 4
efe farw o'i phlegit heb weled: a pheri iddi 19 Act. 20,3
syrthio arno, fel y byddo farw, ac efe heb * Ex. 21,
ddwyn câs iddo, ac heb geisio niwed iddo ef: 13.
24 Yna barned y gynnulleidfa rhwng y taraw-
udd, a dialudd y gwaed, yn ol y barnedigaethau
hyn.
25 ⁿAc achubed y gynnulleidfa y llofrudd o nHeb.10,
law dialudd y gwaed, a throed y gynnulleidfa ef 21, a 4,14
i ddinas ei noddfa yr hon y ffodd efe iddi: a a 9, 15 Lef. 8, 9
thriged yntef ynddi hyd farwolaeth yr arch-off- Eph.2,16 17
eiriad, yr hwn a enneiniwyd ag olew cyssegr- Col. 2,14
edic.
26 ᵒAc os y llofrudd gan fyned a aiff allan o oEsa. 28,
derfyn dinas ei noddfa, yr hon y ffodd efe iddi: 16, a 30.15 Ioan. 15,
27 Ai gael o ddialudd y gwaed oddi allan i 4 Act.27,31
ddinas ei noddfa, a lladd o ddialudd y gwaed y
llofrudd, na [rodder hawl] gwaed yn ei erbyn:
28 Canys o fewn dinas ei noddfa y trig hyd
farwolaeth yr arch-offeiriad, ac wedi marwol-
aeth yr arch-offeiriad, dychweled y llofrudd i
dir ei etifeddiaeth.
29 ᵖA hyn fydd i chwi yn ddeddf farnedic pPen.27,
drwy eich cenedlaethau, yn eich holl drigfannau. 11 Deut.17
30 Pwy bynnac a laddo ddyn, wrth a *ddy- 6 a 19, 15 Mat. 18,
wedo tystion y lladd efe y llofrudd: ac un tŷst ni 16
chaiff destiolaethu yn erbyn dyn i farw o honaw 2Cor.13,1 Heb. 10,
31 Hefyd na chymmerwch iawn am einioes y 28 Dat.11,3
llofrudd, yr hwn sydd euog i farw, ond lladder
ef yn farw.
32 Ac na chymmerwch iawn gan yr hwn a
ffôdd i ddinas ei noddfa, er cael dychwelyd i
drigo yn y tir, hyd farwolaeth yr offeiriad.
33 ᵠFel na halogoch y tir yr hwn [y byddoch] q Ier. 3,
chwi ynddo, canys y gwaed hwn a haloga y tir, 2, 9
a thros y tir ni wneir iawn am y gwaed a dyw-
elltir arno, ond a gwaed yr hwn ai tywalltodd.
34 Am hynny nac aflanhâ y tir yr hwn yr yd- rHos.9,3
ych yn trigo ynddo, yr hwn yr ydwyf i yn pres-

wylio yn ei ganol: canys myfi'r Arglwydd ydwyf
yn presswylio yng-hanol meibion Israel.

## PEN. XXXVI.

*Bod yn rhaid i ferched Zalphaad, ac i bob aeres arall briodi rhai oi llwythau eu hun.*

sPen. 27, 1 "PENNAU ˢ cenedl tylwyth meibion
Gilead, mab Machir, mab Manasses o dy-
lwyth meibion Ioseph a ddaethant hefyd, ac
a lefarasant ger bron Moses, a cher bron y pen-
naduriaid [sef] pennau cenedl meibion Israel.
*Pen.27, 6, 7 2 Ac a ddywedasant, * Yr Arglwydd a orch-
Ios. 17, 3 ymynnodd i'm harglwydd, roddi y tir yn etif-
Pen. 25, 26. 52,53 eddiaeth i feibion Israel wrth goel-bren: ᵗ a'm
t1Pedr3, 6 harglwydd o orchymynnwyd gan yr Arglwydd
Mat. 22, 41, 45 roddi etifeddiaeth Zalphaad ein brawd iw ferched.
Tit. 2. 5 3 Os hwynt a fyddant wragedd i rai o feibion
Diar. 31, 30 llwythau meibion Israel, yna y tynnir ymmaith
Iob.42,15 eu hetifeddiaeth hwynt oddi wrth etifeddiaeth
ein tad ni, ac ai chwanegir at etifeddiaeth y
llwyth y rhai y byddant hwy eiddynt, a phrin-
heuir ar randir ein etifeddiaeth ni.
uLef. 25, 10 4 ᵘ A phan fyddo y Jubili i feibion Israel, yna
Ioan. 8 y chwanegir eu hetifeddiaeth hwynt, ac etifedd-
34, 36 iaeth llwyth y rhai y byddant hwy eiddynt: a
Esa. 61.2 Heb.9,10 thorrir eu hetifeddiaeth hwynt, oddi wrth eti-
11 Luc. 4,10 feddiaeth llwyth ein tad ni.
Pen.27,5 5 ᵛ A gorchymynnodd Moses i feibion Israel
Mat. 28, 20 yn ol gair yr Arglwydd, gan ddywedyd, Y mae
1Cor. 11, 23
llwyth meibion Ioseph yn dywedyd yn union.
6 ʷ Dymma y gair yr hwn a orchymynnodd yr wGen.24 57
Arglwydd am ferched Zalphaad, gan ddywedyd, Adn. 12,
Byddant yn wragedd i'r [rhai] y byddo da yn eu
golwg eu hun, ond i rai o dylwyth llwyth eu tad
eu hun y byddant yn wragedd.
7 ˣ Fel na threiglo etifeddiaeth meibion Israel, xGen. 2, 24
o lwyth i lwyth, ond glynu o feibion Israel bob 2 Bren. 21, 3
un yn etifeddiaeth llwyth ei dadau ei hun. Adn. 9
8 A phob merch yn etifeddu etifeddiaeth o
lwythau meibion Israel a fydd wraig i un o dy-
lwyth llwyth ei thad ei hun: fel yr etifeddo mei-
bion Israel bob un etifeddiaeth ei dadau ei hun.
9 ʸ Ac na threigled etifeddiaeth o lwyth i lwyth y1Cor.15
arall, canys llwythau meibion Israel a lynant 40
bob un yn ei etifeddiaeth ei hun.
10 ᶻ Megis y gorchymynnodd yr Arglwydd zLef. 24,
wrth Moses, felly y gwnaeth merched Zalphaad. 12 Pen. 15,
11 ᵃ Canys Mahelah, Thirza, Hagla, Milcha, 34 aLef. 18,
a Noa merched Zalphaad fuant yn wragedd i 18
feibion eu hewythr.
12 [I wŷr] o dylwyth Manasses fab Ioesph y
buant yn wragedd: a bu eu hetifeddiaeth wrth
lwyth tylwyth eu tad.
13 Dymma y gorchymynnion a'r barnedigaeth-
au, y rhai a orchymynnodd yr Arglwydd i feibion
Israel trwy law Moses, yn rhossydd Moab, am
yr Iorddonen ag Iericho."

---

# PUMMED LLYFR MOSES

YR HWN A ELWIR

# DEUTERONOMIUM.

## PEN. I.

*2 Byr adfynegiad o'r pethau a wnaethid o'r blaen o Horeb hyd Cadesbarnea. 13 Moses yn gosod cydlywodraethwyr ag ef ei hun, ar y bobl. 16 Barn gyfiawn. 22 Yr yspiwyr. 32 Moses yn ystwrdio y bobl o achos eu hanghredyniaeth. 44 Ennill o'r Amoriaid y maes oddi ar yr Israeliaid, am iddynt ymladd yng-wrthwyneb i orchymyn yr Arglwydd.*

aPen.34, 5 DYMMA ᵃ y geiriau y rhai a ddywedodd
Num.34, 5 Moses wrth holl Israel, ar tu hwnt i'r Ior-
8, 12 ddonen yn yr anialwch, ar y rhos gyferbyn a'r
Num.13, 1 môr coch: rhwng Pharen a Thopel, a Laban, a
bAdn. 3, Hazeroth, a Dizahab.
Gen.36,8 Adn. 6 2 ᵇ [Taith] un diwrnod ar ddec [fydd] o Horeb,
ffordd [yr eir] i'r mynydd Seir, hyd Cadesbarnea.
c Num. 20, 1 3 ᶜ A darfu yn y ddeugeinfed flwyddyn, yn yr
Zec. 1, 7 unfed mis ar ddec, ar y [dydd] cyntaf o'r mis i
Moses lefaru wrth feibion Israel yn ol yr hyn oll
a orchymynnase yr Arglwydd iddo [ei ddywed-
yd] wrthynt.
4 ᵈ Wedi iddo ladd * Sehon brenin yr Amoriaid dNum.21, 33
yr hwn oedd yn trigo yn Hesbon, ac Og brenin *Num.21,
Basan yr hwn oedd yn trigo yn Asteroth, o fewn 14, 26
Edrai.
5 Tu hwnt i'r Iorddonen yng-wlad Moab y
dechreuodd Moses egluro y gyfraith hon, gan
ddywedyd,
6 ᵉ Yr Arglwydd ein Duw a lefarodd wrthum eEx.19, 1
ni yn Horeb, gan ddywedyd, Digon i chwi drigo 2 Num.
[hyd yn hyn] yn y mynydd hwn, 11, 12 Gal 3,16
7 ᶠ Dychwelwch, a chychwnnwch rhagoch ac 17, 18 Heb. 4,
ewch i fynydd yr Amoriaid, ac iw holl gyfagos 11 fNum.34,
[leoedd:] i'r rhos, i'r mynydd, ac i'r gwastadedd, 6

ac i'r dehau, ac i borthladd y môr, i dir y Ca-
naaneaid, ac i Lybanus, hyd yr afon fawr [sef]
afon Euphrates.
gLef.25. 8 g Wele rhoddais y wlad o'ch blaen chwi:
23 ewch i mewn, * a gorescynnwch y wlad yr hon a
Barn.11, dyngodd yr Arglwydd i'ch tadau chwi: i Abra-
Rhuf. 6, ham, ac i Isaac, ac i Iacob ar[ei] rhoddi iddynt,
Gen.13, ac iw hâd ar eu hol hwynt.
9 A mi a ymadroddais wrthych * yr amser
Ex.18,14 hwnnw gan ddywedyd, Ni allaf fy hun eich
cynnal chwi.
Ex.15,5 10 h Yr Arglwydd eich Duw a'ch lluosogodd
chwi: ac wele chwi heddyw fel sêr y nefoedd o
luosogrwydd.
11 Arglwydd Dduw eich tadau a'ch cynyddo
yn fil lluosogach nac ydych, a'ch bendithio
fel y llefarodd efe wrthych.
Cor.11, 12 i Pa wedd y dygwn fy hun eich blinder, a'ch
baich, a'ch ymryson chwi?
13 j Moeswch iwch wŷr doethion, a deallus,
a rhai cyfarwydd trwy eich llwythau, fel y go-
sodwyf hwynt yn bennau arnoch chwi.
14 Yna'r attebasoch fi, ac y dywedasoch, Da
yw gwneuthur y peth yr hwn a ddywedaist.
15 Cymmerais gan hynny bennau eich llwyth-
au chwi, [sef] gwŷr doethion, a rhai cyfarwydd,
ac ai rhoddais hwynt yn bennau arnoch, [sef]
yn gapteniaid ar filoedd, ac yn gapteniaid ar
gantoedd, ac yn gapteniaid ar ddegau a deugain,
ac yn gapteniaid ar ddegau, ac yn swyddogion
ar eich llwythau chwi.
16 A'r amser hwnnw y gorchymynnais i'ch
barnwŷr chwi, gan ddywedyd, Gwrandewch
[ddadleuon] rhwng eich brodyr, a * bernwch gyf-
iawnder rhwng gŵr ai frawd, ac ai estron hefyd.
17 * k Nachydnabyddwch wynebau mewn barn,
* gwrandewch ar y lleiaf, yn gystal ac ar y mwy-
af: nac ofnwch rhac neb, o blegit y farn sydd
eiddo Duw: a'r peth yr hwn a fydd rhy galed i
chwi a ddygwch attafi, a mi ai gwrandawaf.
18 Gorchymynnais i chwi hefyd yr amser hwn-
nw yr holl bethau y rhai[a ddylech]eu gwneuthur.
19 m Yna y mudasom o Horeb, ac a gerddasom
yr holl anialwch mawr ac ofnadwy hwnnw, yr
hwn a welsoch ffordd [yr eir i] fynydd yr Amor-
iaid, fel y gorchymynnase yr Arglwydd ein Duw
i ni, ac a ddaethom hyd Cadesbarnea.
20 A dywedais wrthych, Daethoch hyd fynydd
yr Amoriaid yr hwn y mae'r Arglwydd ein Duw
ar roddi i ni.
21 Wele'r Arglwydd dy Dduw a roddes y wlad
o'th flaen, Dos i fynu [a] gorescyn, fel y llefarodd
Arglwydd Dduw dy dadau wrthit, nac ofna, ac
na lwfrhâ.
22 Yno chwi oll a ddaethoch attaf, ac * a
ddywedasoch, Anfonwn wŷr o'n blaen ni, fel y
chwiliant hwy y wlad i ni, ac yr adroddant beth
i ni am y ffordd yr hon yr awn i fynu rhyd-ddi,
ac am y dinasoedd y rhai y deuwn i mewn iddynt.
23 n A'r peth oedd dda yn fyng-olwg, cymmer- nNum.13 2, 3
ais gan hynny ddeuddeng-ŵr o honoch, un gŵr Ios.3,12
o [bob] llwyth.
24 * Felly y troesant ac yr aethant i fynu i'r *Num.13 25
mynydd, ac y daethant hyd ddyffryn o Escol, ac oBarn.16 4
ai chwiliasant ef. Can.7,7, 8
25 p Ac a gymmerasant o ffrwyth y tir yn eu pNum.13 25
llaw, ac ai dugasant i wared attom ni, ac a ddug- a 13, 27
asant air i ni trachefn, ac a ddywedasant, Da [yw
'r] wlad yr hon y mae'r Arglwydd ein Duw yn
ei rhoddi i ni.
26 q Er hynny ni fynnech fyned i fynu: ond qNum.14 2, 3
gair yr Arglwydd eich Duw a anufyddhausoch
chwi.
27 r Grwgnachasoch hefyd yn eich pebyll, a dy- rPen. 4, 37
wedasoch, Am gasau o'r Arglwydd nyni y dug
efe ni allan o dir yr Aipht i'n rhoddi yn llaw'r
Amoriaid, i'n difetha.
28 s I ba le'r awn i fynu? ein brodyr a'n digalon- sGen.11, 4
nasant ni gan ddywedyd, Pobl fwy, a hwy na
nyni, dinasoedd mawrion, a chaeroc hyd y nef-
oedd, a * meibion yr t Anaciaid hefyd a welsom *Num.13 28
ni yno. tPen.2,10
29 Yna y dywedais wrthych, Nac arswydwch, Barn. 1, 10
ac nac ofnwch rhacddynt hwy.
30 Yr Arglwydd eich Duw'r hwn sydd yn
myned o'ch blaen, efe a ymladd trosoch yn ol
[yr hyn] oll a wnaeth [efe] i chwi yn yr Aipht o
flaen eich llygaid.
31 u Ac yn yr anialwch fel y gwelaist [lle] i'th uEx.19,4
ddug yr Arglwydd dy Dduw, fel y dwg gŵr ei Num.11, 12
fab ei hun, yn yr holl ffordd yr hon a gerddasoch, Pen. 32, 10
nes eich dyfod hyd y man ymma.
32 v Etto er y chwedl hwn, ni chredech chwi vHeb.3, 1, 2
yn yr Arglwydd eich Duw. Iudas 5,
33 * Yr hwn a oedd yn myned o'ch blaen chwi Sal.78,22 *Ex.13,21
ar hyd y ffordd i chwilio iwch [am] le i werssyllu Num. 10, 34.
o honoch: y nôs mewn tân i beri i chwi ganfod ar
hyd y ffordd yr hon yr aeth arni: a'r dydd mewn
cwmwl.
34 A chlybu'r Arglwydd lais eich geiriau, ac
a ddigiodd, ac a dyngodd gan ddywedyd,
35 Os * un o'r dynion hyn, y genhedlaeth *Num.14
ddrwg hon, a wêl y wlad dda'r hon y tyngais, 23. a 13,19 w Num.
ar ei rhoddi i'ch tadau chwi, [na choelier fi.] 13, 30 a 14, 6
36 w Oddieithr Caleb mab Iephun, efe ai gwel *Ios.14,6 xNum.14
hi, * ac iddo ef y rhoddaf y wlad yr hon y sang- 24
odd efe ynddi, ac iw feibion ef, o achos x cyf- ySal.106, 32, 33
lawni o honaw [wneuthur] ar ol yr Arglwydd. Pen.3,26
37 y * Wrthif finne hefyd y digiodd yr Argl- a 4, 21, a 34, 4
wydd o'ch plegit chwi, gan ddywedyd, Tithe he- * Num. 20,12,a27 14
fyd ni chei fyned i mewn yno. zNum.13 8
38 z Iosuah mab Nun yr hwn sydd yn sefyll 1Bren.1, 1
ger dy fron di, efe a aiff i mewn yno: cadarnhâ
di ef, canys efe ai rhan hi'n etifeddiaeth i Israel. Num.27, 18

aNum.14, 3 39 [a] * Eich plant hefyd y rhai y dywedasoch y
Esa. 7,15, byddent yn yspail, a'ch meibion chwi y rhai nid
*Num.14, 31 adwaenant heddyw dda na drwg: y rhai hyn a
ânt i mewn yno, ac i'r rhai hynny y rhoddaf hi,
a hwynt ai gorescynnant hi.
bNum.14, 25 40 [b] Troiwch chwithau rhagoch, a chychwn-
nwch i'r anialwch ar hyd ffordd y môr coch.
cNum.14, 39 41 [c] Yna yr attebasoch, a dywedasoch wrthif,
Pechasom yn erbyn yr Arglwydd, nyni a awn i
fynu, ac a ymladdwn ar ol yr hyn oll a orchy-
mynnodd yr Arglwydd ein Duw i ni: a gwisc-
asoch bob un ei arfau rhyfel, ac a ymroesoch i
fyned i'r mynydd.
dHos. 9, 12 42 [d] A dywedodd yr Arglwydd wrthif, Dywet
wrthynt, Nac ewch i fynu, ac na ryfelwch, o
blegit nad ydwyf yn eich mysc chwi, rhac eich
cwympo o flaen eich gelynion.
43 Felly y dywedais wrthych, ond ni wran-
dawsoch, eithr anufyddhausoch air yr Arglwydd,
rhyfygasoch hefyd ac aethoch i fynu i'r mynydd.
eSal. 118, 12 44 [e] Yna y daeth allan yr Amoriaid y rhai
[oeddynt] yn trigo yn y mynydd hwnnw i'ch cy-
farfod chwi ac a'ch ymlidiasant fel y gwnai
gwenyn, ac a'ch difethasant chwi o Seir hyd
Horma.
fHeb. 12, 17 45 [f] Yna y dychwelasoch ac yr wylasoch ger-
bron yr Arglwydd, ond ni wrandawodd yr Ar-
glwydd ar eich llef, ac ni roddes glust i chwi.
g Num. 13, 27 a 20, 14 46 [g] Ac arhosasoch yn Cades ddyddiau lawer,
megis y dyddiau yr arhosasech [o'r blaen.]

## PEN. II.

*1 Israel a waherddir i ymladd a'r Edomiaid, 9 Moabiaid a'r Ammoniaid, ac sydd yn gorchfygu Sehon brenin Hesbon.*

h Pen. 1, 40 Num. 21, 4 YNA [h] y troesom ac y cychwnnasom i'r
anialwch [ar hyd] ffordd y môr coch fel y
dywedase yr Arglwydd wrthif: ac a amgylch-
asom fynydd Seir ddyddiau lawer.
2 Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrthif, gan
ddywedyd,
iPen. 1,6 3 [i] Digon i chwi amgylchu y mynydd hwn [hyd
yn hyn] ymchwelwch rhagoch tu a'r gogledd.
jNum. 20, 14 4 [j] A gorchymyn i'r holl bobl, gan ddywedyd,
Ex. 15,15 Chwy chwi ydych ar dramwyo trwy derfynau
Num. 22, 3 eich brodyr, meibion Esau, y rhai ydynt yn
Col. 4, 5 trigo yn Seir, a hwyntau a ofnant rhagoch, ond
Eph. 5,15 Mat. 5,16 ymgedwch yn ddyfal.
kAdn. 9, 24 5 [k] Na chyffroiwch hwynt, o herwydd ni rodd-
Diar. 24, 6 af i chwi oi tir hwynt gymmeint a lled gwadn
Sal. 144,1 troed: * canys yn etifeddiaeth i Esau y rhodd-
Rhuf. 12, 18 ais [l] fynydd Seir.
lPen. 32, 8 6 [m] Prynwch fwyd ganddynt am arian, fel y
bwyttaoch: a phrynwch hefyd ddwfr ganddynt
mPen. 11 9 am arian, fel yr yfoch.
*Gen. 36, 8 7 Canys yr Arglwydd dy Dduw a'th fendith-
nSal. 1, 6 Gen. 21, 22 iodd di yn holl waith dy law, gwybu dy gerdd-
ed yn yr anialwch mawr hwn: y deugain mhly-
nedd hyn [y bu] yr Arglwydd dy Dduw gyd a

thi, [ac] ni bu arnat eisie dim.
8 [o] Yna y tramwyasom oddi wrth ein brodyr, oNum. 20, 14
meibion Esau y rhai ydynt yn trigo yn Seir, o 1Bren. 9, 26
ffordd y rhôs, o Elath, ac o Ezion-gaber, ac a
ddychwelasom fel y tramwyem ar hyd ffordd
anialwch Moab.
9 [q] Yna yr Arglwydd a ddywedodd wrthif, qBarn. 11, 17
Na orthrymma Moab, ac nac ymgynnull i ryfel
yn ei herbyn hwynt, o blegit ni roddaf it feddiant
oi dir ef: o herwydd [r] i feibion Lot y rhoddais rNum. 21, 15
Ar yn etifeddiaeth.
10 [s] Yr Emiaid o'r blaen a gyfaneddasant ynddi: sGen. 14, 5
pobl fawr, ac aml, ac uchel fel yr Anaciaid.
11 Yn gawri y cymmerwyd hwynt hefyd, fel
yr Anaciaid, a'r Moabiaid ai galwasant hwynt
yn Emiaid.
12 [t] Yr Horiaid hefyd a bresswyliasant yn tAdn. 25, 8
Seir o'r blaen, a meibion Esau ai gorescynnas-
ant, ac ai difethasant oi blaen, a thrigasant yn eu
lle hwynt, fel y gwnaeth Israel i wlad ei etifedd-
iaeth yntef, yr hon a roddes yr Arglwydd iddynt.
13 [Yna y dywedais] Cyfodwch yn awr, a
thramwywch rhagoch tros afon * Zared: ac nyni *Num. 21, 12
a aethom tros afon Zared.
14 [u] A'r dyddiau [yn] y rhai y cerddasom o uNum.
Cadesbarnea, hyd pan ddaethom tros afon Za-
red [oeddynt] onid dwy flwyddyn deugain, nes
darfod holl genhedlaeth y gwŷr o ryfel o ganol y
gwerssyllau, fel y tyngase'r Arglwydd wrthynt.
15 [v] Canys llaw'r Arglwydd ydoedd hefyd yn vSal. 55, 1
eu herbyn hwynt iw torri hwynt o ganol y
gwerssyll hyd oni ddarfuont.
16 A bu wedi darfod yr holl ryfelwyr, gan eu
marw o blith y bobl,
17 Yna lefaru o'r Arglwydd wrthif, gan
ddywedyd,
18 Tydi heddyw wyt ar fyned drwy derfynau
Moab, sef [trwy] Ar.
19 [w] Pan ddelech di gyferbyn a meibion Am- wGen. 19, 38
mon, na orthrymma hwynt, ac nac ymgynnull Adn.
yn eu herbyn hwynt, o blegit ni roddaf feddiant
o dir meibion Ammon i ti, canys rhoddais ef
yn etifeddiaeth i feibion Lot.
20 [x] Yn wlad cawri hefyd y cyfrifwyd hi, cawri xGen. 5
a bresswyliasant ynddi o'r blaen: a'r Ammon-
iaid ai galwent hwynt Zamzumiaid.
21 Pobl fawr, ac aml, ac uchel fel yr Anac-
iaid, a'r Arglwydd ai difethodd hwynt oi blaen
hwy, a hwynt ai gorescynnasant, ac a drigasant
yn eu lle hwynt. yGen. 6
22 [y] Fel y gwnaeth i feibion Esau y rhai ydynt zBren.
yn trigo yn Seir, pan ddifethodd efe yr Horiaid 24
oi blaen, fel y gorescynnasant hwynt, ac y trig- Gen. 10
asant yn eu lle hwynt hyd y dydd hwn. Gen. 14
23 [a] Felly [am] yr Afiaid y rhai oeddynt yn Act.
trigo yn Hazarim, hyd Azza, y Caphthoriaid y Iob.
rhai a ddaethant allan o Caphthor ai difethas- Am.

ant hwynt, ac a drigasant yn eu lle hwynt.

24 [a] Cyfodwch, cychwynnwch, ac ewch tros afon Arnon: wele rhoddais yn dy law di Sehon brenin Hesbon yr Amoriad, ai wlad ef, dechreu escyn, ai gyffroi ef i ryfel.

25 [b] Ydydd hwn y dechreuaf roddi dy arswyd, a'th ofn di ar y bobloedd tann yr holl nefoedd, y rhai a glywant dy henw di'a ddychrynant, ac a lescânt rhagot ti.

26 [c] Yna'r anfonais gennadau o anialwch Cademoth at Sehon brenin Hesbon [a] geiriau heddwch, gan ddywedyd,

27 * Gâd i mi fyned trwy dy wlad ti, ar hyd y brifford y cerddaf, ni chiliaf i'r tu dehau, nac i'r tu asswy.

28 [d] Gwerth fwyd am arian i mi, fel y bwyttawyf, a dyro ddwfr am arian i mi fel yr yfwyf, ar fy nrhaed yn unic y tramwyaf,

29 [e] (Fel y gwnaeth meibion Esau i mi, y rhai ydynt yn trigo yn Seir, a'r Moabiaid y rhai ydynt yn trigo yn Ar) hyd onid elwyf tros yr Iorddonen i'r wlad yr hon y mae yr Arglwydd ein Duw yn ei rhoddi i ni.

30 [f] Ond ni fynne Sehon brenin Hesbon ein gollwng heb ei law, o blegit yr Arglwydd dy Dduw a galedase ei yspryd ef, ac a gadarnhase ei galon ef, er mwyn ei roddi ef yn dy law di, megis heddyw [y gwelir.]

31 [g] A'r Arglwydd a ddywedodd wrthif, Wele dechreuais roddi Sehon, ai wlad ef o'th flaen di, dechreu di gan orescyn orescynnu ei wlad ef.

32 [h] * Yna Sehon a ddaeth allan i'n cyfarfod ni, efe ai holl bobl i ryfel [yn] Iasa.

33 Ond yr Arglwydd ein Duw, ai rhoddes ef o'n blaen, fel y tarawsom ef, ai feibion, ai holl bobl ef.

34 Ac a ennillasom ei holl ddinasoedd ef yr amser hwnnw, ac a ddifrodasom bob dinas, yn wŷr, yn wragedd, yn blant, [ac] ni adawsom weddill.

35 Ond sclyfaethasom yr anifeiliaid i ni, ac yspail y dinasoedd y rhai a ennillasom.

36 [i] O Aroer, yr hon [sydd] ar fin afon Arnon, a'r ddinas yr hon [sydd] ar yr afon, ac hyd at Gilead, ni bu ddinas a'r ddiangodd rhagom: yr Arglwydd ein Duw a roddes y cwbl o'n blaen ni.

37 [j] Er hynny ni ddaethost i dir meibion Ammon, [sef] holl lann afon Iabboc, nac i ddinasoedd y mynydd, nac i'r holl [leoedd] y rhai a orchymynnase yr Arglwydd ein Duw [na ddelem iddynt.]

## PEN. III.

*Hanes Og brenin Basan. 13 Pwy a gafodd ei dir ef, a thann ba ammod. 21 Moses yn cynghori Iosuah i flaenori y bobl i wlad Canaan, yr hon ni chai efe ei hun onid ei gweled.*

YNA y troesom, ac yr escynnasom [ar hyd] ffordd Basan, ac *Og brenin Basan a ddaeth allan i'n cyfarfod ni, efe ai holl bobl i ryfel i Edrai.

2 A'r Arglwydd a ddywedodd wrthif, nac ofna ef, o blegit yn dy law di y rhoddaf ef, ai holl bobl, ai wlad ef: a thi a wnei iddo fel y gwnaethost i *Sehon frenin yr Amoriaid yr hwn oedd yn trigo yn Hesbon.

3 Felly yr Arglwydd ein Duw a roddes hefyd yn ein llaw ni * Og frenin Basan, ai holl bobl ef, fel y tarawsom ef, nes [ein bod] heb adel iddo weddill.

4 [k] Ac a ennillasom ei holl ddinasoedd ef yr amser hwnnw [fel] nad oedd dinas yr hon nis dugasom oddi arnynt: tri-ugain dinas [sef] holl wlad Argob, brenhiniaeth Og o fewn Basan.

5 [l] Yr holl ddinasoedd hyn [oeddynt] gedyrn o furoedd uchel, pyrth, a barrau, heb law dinasoedd heb furoedd lawer iawn.

6 [m] A difrodasom hwynt fel y gwnaethom i Sehon frenin Hesbon, gan ddifrodi o bob dinas y gwŷr, y gwragedd, a'r plant.

7 Ond yr holl anifeiliaid ac yspail y dinasoedd a sclyfaethasom i ni ein hunain.

8 [n] Felly cymmerasom yr amser hwnnw o law dau frenin yr Amoriaid y wlad yr hon [sydd] o'r tu hwnt i'r Iorddonen, o afon Arnon hyd fynydd Hermon.

9 [o] Y Sidoniaid a alwant Hermon yn Sirion, a'r Amoriaid ai galwant ef Senir.

10 Holl ddinasoedd y gwastad, a holl Gilead, a holl Basan hyd Selca, ac Edrai, dinasoedd brenhiniaeth Og o fewn Basan.

11 [p] O blegit Og brenin Basan yn unic a adawsid o weddill y cawri: wele ei wely ef [oedd] wely haiarn, onid [yw] hwnnw yn Rebath meibion Ammon? naw cufydd [oedd] ei hŷd ef, a phedwar cufydd [oedd] ei lêd ef, wrth gufydd gŵr.

12 A'r wlad hon a orescynnasom ni yr amser hwnnw, o Aroer yr hon [sydd] wrth afon Arnon, a hanner mynydd Gilead, * ai ddinasoedd ef a roddais i'r Rubeniaid ac i'r Gadiaid:

13 [q] A'r gweddill o Gilead, a holl Basan, [sef] brenhiniaeth Og a rhoddais i hanner llwyth Manasses: [sef] holl wlad Argob, trwy holl Basan, hon a elwid gwlad y cawri.

14 [r] Iair mab Manasses a gymmerth holl wlad Argob, hyd fro Gessuri, a Macati: ac ai galwodd hwynt, sef Basan, ar ei henw ei hun, trefydd Iair hyd y dydd hwn.

15 [s] Ac i Machir y rhoddais i Gilead.

16 Ond i'r Rubeniaid, ac i'r Gadiaid, y rhoddais o Gilead hyd afon Arnon, hanner yr afon a'r terfyn: ac hyd yr afon Iabboc [sef] terfyn meibion Ammon.

17 [u] Hefyd y rhos, a'r Iorddonen, a'r terfyn o Cinereth hyd fôr y rhôs [sef] y môr heli, dann fronnydd y brynn tu a'r dwyrain.

18 [v] Gorchymynnais gan hynny i chwi'r amser hwnnw gan ddywedyd, Yr Arglwydd eich Duw a roddes i chwi y wlad hon iw gorescyn:

ewch trosodd yn arfog o flaen eich brodyr meib-
ion Israel, pob rhai pybur [o honoch.]
19 Yn unic eich gwragedd, a'ch plant, a'ch ani-
feiliaid, (gwn fod llawer o anifeiliaid i chwi) a drig-
ant yn eich dinasoedd y rhai a roddais i chwi.
20 Hyd pan baro'r Arglwydd i'ch brodyr or-
phywyso fel chwithau: a gorescyno o honynt hwy
hefyd y wlad yr hon y mae'r Arglwydd eich Duw
ar roddi iddynt tros yr Iorddonen: yna dychwel-
wch bob un iw etifeddiaeth yr hon a roddais i
chwi.
*Ios.22,4 21 *Gorchymynnais hefyd i Iosuah yr amser
Num.27, hwnnw, gan ddywedyd, Dy lygaid di a welsant
18 yr hyn oll a wnaeth yr Arglwydd eich Duw i'r
w 1 Sam. ddau frenin hyn: w felly y gwna'r Arglwydd i'r
17, 36 holl deyrnasoedd, y rhai'r ydwyt ti yn myned
trosodd attynt.
x 2Cron. 22 x Nac ofnwch hwynt, o blegit yr Arglwydd
15, 12 eich Duw [yw] efe, yr hwn a ymladd trosoch chwi.
Dat. 19, 11, 12 23 Ac erfynniais ar yr Arglwydd yr amser
Esa. 63,1 hwnnw, gan ddywedyd,
y Pen.11, 2 24 y O Arglwydd Dduw, tydi a ddechreuaist
Sal. 86, 8 ddangos i'th wâs dy fawredd, a'th law gadarn:
a 89, 8 o blegit pa Dduw [sydd] yn y nefoedd, neu yn
2 Sam. 7, 22 y ddaiar, yr hwn a weithreda yn ol dy weith-
Ex. 15,11
Sal. 106,2 redoedd, a'th nerthoedd di?
a 145. 4 25 Gad i mi fyned trosodd attolwg, a gweled
Mat.7,22 y wlad dda, yr hon [sydd] tros yr Iorddonen,
z Ezec.20 6 a'r mynydd da hwnnw, a Libanus.
Sal. 15, 1
Esa. 2, 2 26 a Ond yr Arglwydd a ddigiase wrthif o'ch
Can. 4,11 plegid chwi, ac ni wrandawodd arnaf, ond dy-
a Num. 20, 3, 20 wedyd a wnaeth yr Arglwydd wrthif, Digon
Pen. 4,21
1Cor. 12, 8, 9 [yw hynny] i ti, na chwanega lefaru wrthif mwy
am y peth hyn.
27 Dos i fynu i ben y brynn, a derchafa dy
lygaid tu a'r gorllewyn, a'r gogledd, a'r dehau,
a'r dwyrain, ac edrych a'th lygaid, o blegit ni
chei di fyned tros yr Iorddonen hon.
b Adn. 21 28 b Gorchymmyn hefyd i Iosuah, a nertha, a
Ioan 1,17 chadarnha ef, o blegit efe a aiff trosodd o flaen
y bobl ymma, ac efe a ran iddynt yn etifeddiaeth
y wlad, yr hon a weli di.
29 Felly aros a wnaethom yn y dyffryn, gyf-
erbyn a Bethpeor.

## PEN. IV.

*1 Moses yn annog i gadw gorchymynnion Duw. 2 Na rodder at air Duw, ac na thynner oddi wrtho ddim. 3 Beth a ddaeth o ganlyn Baalpeor. 6 Doethineb pobl Dduw. 9 Rhaid iw dyscu gorchymynnion Duw i'n plant. 15 Na wneler un ddelw o ddim iw haddoli. 24 Duw'n dân yssol. 26 Bygythion yn erbyn y rhai a ymwrthodant a gorchymynnion Duw. 31 Duw'n drugarog. 37 Am garu o Dduw y tadau efe a ddewisodd eu heppil hwynt. 43 Dinasoedd y noddfa.*

c Rhuf.2, 13. a 10,5 BELLACH c gan hynny, O Israel, gwran-
Gen. 12,5 do ar y deddfau, ac ar y barnedigaethau,
y rhai'r [ydwyf] yn dyscu i chwi iw gwneuthur,
fel y byddoch byw, ac yr eloch, ac y gorescyn-
noch y wlâd yr hon y mae Arglwydd Dduw
eich tadau'n ei rhoddi i chwi.
2 d Na chwanegwch at y gair yr hwn yr ydwyf d Gal. 3,
yn ei orchymyn i chwi, ac na leihewch [ddim] o 15
honaw ef, gan gadw gorchymynnion yr Arglwydd 2 Tim. 3, 16
eich Duw y rhai[r wyf]yn eu gorchymyn i chwi. Diar. 30, 5, 6
3 e Eich llygaid chwi a oeddynt yn gweled yr Dat. 22, 18
hyn a wnaeth yr Arglwydd am Baal-Peor, o Mat.5,18
blegit pob gŵr yr hwn a aeth ar ol Baal-Peor, yr e Num. 25, 1
Arglwydd dy Dduw ai difethodd ef, o'th blith di. Sal. 106, 28
4 f Ond chwi y rhai oeddych yn glynu wrth yr f Ezec. 9,
Arglwydd eich Duw, byw ydych heddyw oll. 4, 6
5 Wele dyscais i chwi ddeddfau, a barnedig- 2 Tim. 2, 19
aethau, fel y gorchymynnodd yr Arglwydd fy Dat.20,6
Nuw i mi: i wneuthur [o honoch]felly, yng-hanol Pen. 10, 20
y wlad yr hon [yr ydych] chwi ar fyned i mewn
iddi iw gorescyn.
6 g Cedwch gan hynny, a gwnewch [hwynt], o g Sal.19
blegit hyn [yw] eich doethineb, a'ch deall chwi, 2 Tim. 3, 15
yng-olwg y bobloedd, y rhai a glywant yr holl Mal. 3,12
ddeddfau hyn, ac a ddywedant, yn ddiau pobl
ddoeth, a deallus [yw] y genedl fawr hon.
7 h O blegit pa genedl[morr]fawr, yr hon[y mae] h Pen.5,
duwiau iddi yn nessau atti, fel yr Arglwydd ein 26 Ios.24,19
Duw ni, ym mhob [dim] a'r y galwom arno? Sal. 145, 18
8 A pha genedl [morr] fawr, yr hon y [mae]
iddi ddeddfau, a barnedigaethau cyfiawn, megis
yr holl gyfraith hon, yr hon yr ydwyfi yn ei
rhoddi heddyw ger eich bron chwi?
9 i Ond gochel arnat, a chadw dy enaid yn i Diar. 3,
ddyfal, rhac anghofio o honot y pethau y rhai a 1, 3 a 4, 21
welodd dy lygaid, a chilio o honynt allan o'th Gen. 18, 19
galon di, holl ddyddiau dy einioes: ond yspyssa Deut.6,7 Sal. 78,4
hwynt i'th feibion, ac i feibion dy feibion. Eph. 6,4
10 j [Sef] y dydd yr hwn y sefaist ger bron yr j Ex. 19,
Arglwydd dy Dduw yn Horeb, pan ddywedodd 16 Heb. 12,
yr Arglwydd wrthif, Cynnull i mi y bobl, fel y 18 Sal. 31,
gwnelwyf iddynt glywed fyng-eiriau y rhai
a ddyscant i'm hofni fi, yr holl ddyddiau y rhai
y byddant fyw ar y ddaiar, ac y dyscant
[hwynt] iw meibion.
11 k Yna y nessasoch, ac * safasoch dan y my- k Pen.9,
nydd, a'r mynydd oedd yn llosci gan dân, hyd 23 * Ex. 19,
entrych awyr, yn dywyllwch, a niwl, a chwmwl. 18 Ex.20,21
12 l A'r Arglwydd a lefarodd wrthych o ganol l Esa. 40,
y tân, [a] chwithau nid oeddych yn gweled llûn 18
[dim] heb law llais.
13 m Yna efe a fynegodd i chwi ei gyfammod m Ex.34,
yr hwn a orchymynnodd i chwi iw wneuthur, 18
[sef] y deng-hair, ac ai scrifennodd hwynt, ar
ddwy lech faen.
14 n A'r Arglwydd a orchymynnodd i mi'r n Ex.21,1
amser hwnnw ddyscu i chwi ddeddfau, a barned-
igaethau i wneuthur o honoch hwynt yn y wlad,
yr hon yr ydych chwi yn myned iddi iw gorescyn. o Ios. 23,
15 o Gwiliwch gan hynny yn ddyfal ar eich 11 Ier. 17,21
eneidiau, o blegit ni welsoch ddim llûn yn y Mal.2,15 Col. 1,15
dydd y llefarodd yr Arglwydd wrthych yn Esa.40,18

Horeb o ganol y tân.
pEx.20,4 16 [p] Rhac ymlygru o honoch, a gwneuthur i
chwi ddelw gerfiedic, cyffelybrwydd un ddelw,
llûn gwryw, neu fenyw.
qRhuf.1, 23 17 [q] Llun un anifail yr hwn [sydd] ar y ddaiar,
llûn un aderyn ascelloc yr hwn a eheda yn yr
awyr.
18 Llûn un ymlusciad ar y ddaear, llûn un
pyscodyn a'r y [sydd] yn y dyfroedd tann y ddaiar.
r 2 Bren. 19 [r] Hefyd rhac derchafu o honot dy lygaid tu
21,3 a 17,16 a'r nefoedd, a gweled yr haul, a'r lleuad, a'r sêr
Amos 5, 25 [sef] holl lu y nefoedd, a'th yrru di i ymgrym-
Iob 31,26 mu iddynt, a gwasanaethu o honot hwynt, y
Pen. 13,5 Mat. 5,34 rhai a rannodd yr Arglwydd dy Dduw i'r holl
Rhuf. 1, 20 bobloedd dann y nefoedd.
s 1 Bren. 8,51 20 [s] Ond yr Arglwydd a'ch cymmerodd chwi,
Ier. 11,4 ac a'ch dug chwi allan o'r pair haiarn, o'r Aipht,
Ex. 19,5 Tit. 2,14 i fod iddo yn bobl, [ac] yn etifeddiaeth fel [y
gwelir] y dydd hwn.
t Pen. 3, 26. a 31,2 21 [t] A'r Arglwydd a ddigiodd wrthif am eich
geiriau chwi, ac a dyngodd nad awn i tros yr
Iorddonen, ac na chawn fyned i mewn i'r wlad
dda, yr hon y mae'r Arglwydd dy Dduw ar
roddi i ti yn etifeddiaeth.
u Heb. 7, 5,7 22 [u] O blegit byddaf farw yn y wlad hon, nid
Gal. 3,24 âf i tros yr Iorddonen: ond chwychwi ydych
yn myned trosodd, ac a orescynnwch y wlad
dda honno.
v 1 Cor. 11,23 23 [v] Ymgedwch arnoch rhac anghofio cyfam-
mod yr Arglwydd eich Duw, yr hwn a ammod-
odd efe a chwi, a gwneuthur o honoch i chwi
ddelw gerfiedic, llûn dim oll a waharddodd yr
Arglwydd dy Dduw i ti.
x Pen. 9,3 24 [x] O blegit yr Arglwydd dy Dduw * sydd
Heb. 12, 29 dân yssol, * [a] Duw eiddigus.
Seph. 1, 18 25 Pan genhedlech feibion, ac ŵyrion, ac
Ex. 24,17 heneiddio o honoch yn y wlad, ac ymlygru o
Pen. 32, 22 honoch, a gwneuthur o honoch ddelw gerfiedic,
Diar. 6, 1 llûn dim fel y gwneloch ddryganiaeth yng-olwg
yr Arglwydd dy Dduw iw ddigio ef.
y Pen. 30, 19 26 [y] Galw'r ydwyf yn dystion yn eich erbyn
Pen. 30,8 chwi heddyw y nefoedd a'r ddaiar, gan ddar-
fod y derfydd am danoch yn fuan oddi ar y tir,
yr hwn yr ydych yn myned tros yr Iorddonen
iddo iw orescyn, nid estynnwch ddyddiau yn-
ddo, canys gan ddifetha ei'ch difethir.
27 A'r Arglwydd a'ch gwascara chwi ym
mhlith y bobloedd, a chwi a adewir yn ddynion
anaml ym-mysc y cenhedloedd, y rhai y dwg
yr Arglwydd chwi attynt.
z Sal. 115, 4 28 [z] Ac yno y gwasanaethwch dduwiau [o]
Ier. 10,2,9 waith dwylo dŷn, [sef] pren, a maen, y rhai ni
welant, ac ni chlywant, ac ni fwyttânt, ac ni
aroglant.
a Neh. 1,9 Ier. 29,12 29 [a] Pan geisiech oddi yno yr Arglwydd dy
Dduw, yna y cei, os ceisi ef a'th holl galon, ac
a'th holl enaid.

30 [b] Pa gyfyngo arnat, a digwyddo'r holl beth- bHos.3,5 Ioel 2,12
au hyn i ti yn y dyddiau diweddaf, a dychwel-
yd o honot at yr Arglwydd dy Dduw, a gwran-
do o honot ar ei lais ef:
31 (O herwydd yr Arglwydd dy Dduw
[sydd] Dduw trugarog) ni edu efe di, ac ni'th
ddifetha, ac nid anghofia gyfammod dy dadau
di, 'r hwn a dyngodd efe wrthynt.
32 [c] Canys ymofyn yn awr am y dyddiau cynt- cIob 8,8
af y rhai a fuant o'th flaen di, o'r dydd y cre- Pen.30,4 Amos 3,2
awdd Duw ddyn ar y ddaiar, ac o'r [naill] gwrr
i'r nefoedd, hyd y cwrr [arall] i'r nefoedd, a fu
megis y mawr-beth hwn? neu a glybuwyd ei
gyffelyb ef?
33 [d] A glybu pobl lais Duw yn llefaru o ganol d Barn. 13,22
y tân, fel y clywaist ti, a byw o honynt?
34 [e] A brofodd [un] Duw ddyfod i gymmeryd eGen.22, 1
iddo genedl o ganol cenedl? mewn profedigaeth- Ex. 3,12
au, mewn arwyddion, ac mewn rhyfeddodau, a 7,9 Esa. 9,12
mewn rhyfel, mewn llaw gadarn, mewn braich Pen.26,8
estynnedic, ac mewn ofn mawr: fel yr hyn oll a
wnaeth yr Arglwydd eich Duw i chwi yn yr
Aipht, yng-ŵydd dy lygaid?
35 [f] Gwnaethbwyt i ti weled [hynny] i wybod fEsa 45,5
mai yr Arglwydd sydd Dduw, [ac] nad oes neb
arall ond efe.
36 [g] O'r nefoedd y parodd i ti glywed ei lais, gEx.19,9
i'th hyfforddi di, ac ar y ddaiar y parodd i ti Sal.94,12 Ex. 24,16
weled ei dân mawr, a thi a glywaist o ganol y
tân ei eiriau ef.
37 [h] Ac o achos iddo garu dy dadau di, am hEsa 63,9
hynny y dewisodd eu had hwynt, ar eu hol, ac 1Cor.10,1 Ex. 13,21
a'th ddug di o'i flaen ai fawr allu allan o'r Aipht. a 14,19
38 [i] I orescyn cenhedloedd mwy, a chryfach i Pen.3,4 21
na thi, o'th flaen di, i'th ddwyn i mewn, i roddi
i ti eu gwlad hwynt yn etifeddiaeth, fel heddyw.
39 [j] Gwybydd gan hynny heddyw, a chofia j 1 Cron. 28,9
yn dy galon, mai'r Arglwydd sydd Dduw yn y
nefoedd oddi arnodd, ac ar y ddaiar oddi tan-
odd, [ac] nid neb arall.
40 [k] Cadw dithe ei ddeddfau ef, ai orchym-
ynnion y rhai [yr ydwyf] yn eu gorchymmyn i k Pen.5,16
ti heddyw, fel y byddo yn dda i ti, ac i'th feib- Eph. 6,3 Ioan 5,34
ion ar dy ol di, fel yr estynnech ddyddiau ar y 1Tim 4,8 Ier. 22,15
ddaiar, yr hon y mae'r Arglwydd dy Dduw'n ei Mat.6,33
rhoddi i ti byth. Heb. 11, 26
41 [l] Yna Moses, a neilltuodd dair dinas, ar 2Cor.4,18 l Num.3,
tu hwnt i'r Iorddonen, tuâ chodiad haul. 14
42 [m] I ffoi o'r llofrudd yno yr hwn a ladde ei mPen 19, 2
gymydog yn amryfus, ac efe heb ei gasau o'r Ex. 21,12
blaen: fel y galle ffoi i un o'r dinasoedd hynny,
a byw.
43 [Sef] * Bezer yn yr anialwch, yng-gwastad- *Ios.20,8
tir y Rubeniaid, a Ramoth yn Gilead y Gadiaid,
a Golan o fewn Basan y Manassiaid.
44 Felly dymma y gyfraith yr hon a osododd
Moses o flaen meibion Israel.

nPen.19, 7 a 6,17 45 [n] Dymma y testiolaethau, a'r deddfau, a'r
1Bren2,3 barnedigaethau, a lefarodd Moses wrth feibion
Israel pan ddaethant allan o'r Aipht.
46 Tu hwnt i'r Iorddonen yn y dyffryn ar
gyfer Beth-peor yng-wlad Sehon brenin yr
Amoriaid, yr hwn oedd yn trigo yn Heshbon,
yr hwn a darawsc Moses, a meibion Israel,
pan ddaethent o'r Aipht.
*Num21, 23 Pen.3,3 47 Ac a orescynnasant ei wlad ef, a gwlad *Og
brenin Basan, dau o frenhinoedd yr Amoriaid y
rhai [oeddynt] tu hwnt i'r Iorddonen tua chodiad
haul.
oPen.3,9 48 [o] O Aroer yr hon [oedd] ar lann afon Arnon
hyd fynydd Sion, hwn yw Hermon.
*Pen3,17 Num24,3 49 A'r holl rôs tu hwnt i'r Iorddonen tua'r dwy-
rain, ac hyd at fôr y rhôs *dan fronnydd y brynn.

PEN. V.

*5 Moses yn gennad rhwng Duw a'r bobl. 6 Ail fynegu y dec gorchymyn. 23 Ofn y bobl wrth wrando gair Duw. 29 Yr Arglwydd yn ewyllyssio ofni o'r bobl ef. 32 Rhaid yw na phwyser, nac ar y tu dehau, nac ar y tu assw y oddi wrth orchymynnion Duw.*

pPen.29, 10 YNA [p] Moses a alwodd holl Israel, ac a
ddywedodd wrthynt, Clyw O Israel y
deddfau a'r barnedigaethau y rhai yr ydwyf fyn
eu llefaru lle y clywoch heddyw: fel y byddo i
chwi eu dyscu, a chadw ar eu gwneuthur.
qPen4,23 Ex.19,20 2 [q] Yr Arglwydd ein Duw a wnaeth gyfam-
mod a ni yn Horeb.
rGal.3,21 3 [r] Nid a'n tadau ni y gwnaeth yr Arglwydd y
cyfammod hwn, ond a nyni: nyni [yw] y rhai
hynny yn fyw bob un ymma heddyw.
s Ex.33, 11 4 [s] Wyneb yn wyneb y llefarodd yr Arglwydd
a chwi yn y mynydd, o ganol y tân,
tGal.3,19 Ex.16,16 5 [t] (Myfi oeddwn yr amser hwnnw yn sefyll
rhwng yr Arglwydd a chwi, i fynegu i chwi air
yr Arglwydd: canys ofni a wnaethoch rhac y tân,
ac nid escynnech i'r mynydd) gan ddywedyd:
6 Yr Arglwydd dy Dduw [ydwyf] fi, yr hwn
a'th ddûg allan o dîr yr Aipht, o dŷ y caethiwed.
uEx.20,3 7 [u] Na fydded i ti dduwiau eraill ger fy mron i.
8 Na wna it ddelw gerfiedic [na] llun dim a'r
y [sydd] yn y nefoedd oddi uchod, nac a'r [y
sydd] yn y ddaiar oddi isod, nac a'r [y sydd] yn
y dyfroedd oddi tann y ddaiar.
9 Nac ymgrymma iddynt, ac na wasanaetha
*Ex19,2 hwynt, o * blegit myfi'r Arglwydd dy Dduw
Lef.26,1 Sal.97,7 [ydwyf] Dduw eiddigus, yn ymweled ag anwir-
Ex.34,7 Ier.32,18 edd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bed-
waredd [genhedlaeth] o'r rhai a'm casaant.
xIoan 14, 15 10 [x] Ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r
rhai am carant ac a gadwant fyng-orchymynnion.
Pen.8,2 Adn.31 Dan.9,4 11 Na chymmer enw'r Arglwydd dy Dduw yn
ofer, canys nid dieuog gan yr Arglwydd yr hwn
a gymmero ei enw ef yn ofer.
12 Cadw y dydd Sabboth gan ei sancteiddio ef,
fel y gorchymynnodd yr Arglwydd dy Dduw it.
13 Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy
holl waith:

14 [w] Ond y seithfed dydd [yw] Sabboth yr wGen.2,3 Heb.4,4
Arglwydd dy Dduw, na wna [ynddo] ddim
gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th was,
na'th forwyn, na'th ŷch, na'th assyn, nac yr un
o'th anifeiliaid, na'th [x] ddieithr-ddyn, yr hwn xNeh13, 15 Lef.25, 44
[fyddo] o fewn dy byrth: fel y gorphwyso dy
was, a'th forwyn, fel ti dy hun.
15 [y] O blegit cofia mai gwas a fuost ti yng- yEx.20, 11
wlad yr Aipht, a'th ddwyn o'r Arglwydd dy
Dduw allan oddi yno a llaw gadarn, ac a braich
estynnedic, am hynny y gorchymynnodd yr
Arglwydd dy Dduw i ti gadw dydd y Sabboth.
16 [z] Anrhydedda dy dad, a'th fam fel y gorch- zEph.6,2 Pen.4,40
ymynnodd yr Arglwydd dy Dduw i ti: fel yr
estynner dy ddyddiau, ac fel y byddo yn dda
i ti ar y ddaiar, yr hon y mae'r Arglwydd dy
Dduw yn ei rhoddi i ti.
17 [a]* Na ladd.
18 [b]* Ac na wna odineb.
19 [c]* Ac na ledratta.
20 [d] Ac na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn
dy gymmydog.
21 [e]* Ac na chwennych wraig dy gymmydog,
ac na chwennych dŷ dy gymmydog, na'i faes
ef, nai was, nai forwyn, nai ŷch ef, nai assyn
ef, na dim ar [y sydd] eiddo dy gymmydog.
22 [f] Y geiriau hyn a lefarodd yr Arglwydd wrth
eich holl gynnulleidfa, yn y mynydd o ganol y
tân, y cwmmwl a'r tywyllwch [a] llais uchel, ac
ni chwanegodd [ddim,] ond scrifennodd hwynt
ar ddwy lech o gerric, ac ai rhoddes attaf i.
23 [g] A darfu wedi clywed o honoch y llais o
ganol y tywyllwch, a'r mynydd yn llosci gan
dân: yna y nesasoch attaf, [sef] holl bennaeth-
iaid eich llwythau, a'ch henuriaid chwi,
24 Ac a ddywedasoch, Wele'r Arglwydd ein
Duw a ddangosodd i ni ei ogoniant, ai fawredd,
*ai lais ef a glywsom ni o ganol y tân: heddyw
y gwelsom lefaru o Dduw wrth ddŷn, a byw o
honaw.
25 [h] Weithian gan hynny pa ham y byddwn
feirw? o blegit y tân mawr hwn a'n difa ni: ca-
nys os ni a chwanegwn glywed llais yr Arglw-
ydd ein Duw mwyach, marw a wnawn.
26 [i] O blegit pa gnawd oll [sydd,] yr hwn a
glybu lais y Duw byw yn llefaru o ganol y tân
fel nyni, ac a fu fyw?
27 [j] Nessa di a chlyw'r hyn oll a ddywed yr
Arglwydd ein Duw, a llefara di wrthym ni yr
hyn oll a lefaro'r Arglwydd ein Duw wrthit ti:
ac nyni a wrandawn, ac a wnawn [hynny.]
28 [k] Yna'r Arglwydd a glybu lais eich geiriau kPen.18, 17
chwi, pan lefarasoch wrthif, a dywedodd yr
Arglwydd wrthif, Clywais lais geiriau y bobl
hyn, y rhai a lefarasant wrthit, da y dywedas-
ant yr hyn oll a ddywedasant.
29 [l] Oh na byddai hyn o galon ganddynt i'm

hofni fi, ac i gadw fy holl orchymynnion i, bob
amser, fel y bydde da iddynt, ac i'w meibion
hwynt yn dragywyddol.
30 Dos, dywet wrthynt, Dychwelwch i'ch
pebyll.
2 Pedr 31 m Ond saf di yma gyd a'm fi, ac mi a ddy-
wedaf wrthit yr holl orchymynnion, a'r deddfau,
a'r barnedigaethau a ddysci di iddynt, ac a
wnant hwythau, yn y wlad yr hon yr wyfi ar
roddi iddynt, iw gorescyn.
Esa.30, 32 n Edrychwch gan hynny am wneuthur
fel y gorchymynnodd yr Arglwydd eich Duw i
chwi: na chiliwch i'r tu dehau nac i'r tu asswy.
Sal.119, 33 o Cerddwch yn yr holl ffordd, yr hon a or-
Pen 4,40 chymynnodd yr Arglwydd eich Duw i chwi, fel
y byddoch fyw, ac y byddo yn dda i chwi, ac
yr estynnoch ddyddiau yn y wlad, yr hon a or-
escynnwch.

## PEN. VI.

*1 Cyngor i ofni Duw, ac i gadw ei orchymynnion. 7 Ac i ddyscu i'n plant wneuthur yr un modd. 13 I enw Duw y mae tyngu. 16 Na themtier yr Arglwydd Dduw. 25 Ein cyfiawnder ni o'r gyfraith.*

Iago 1, AC p dymma y gorchymyn, y deddfau, a'r
Pen. 4, 1 barnedigaethau, y rhai a orchymynnodd
1. 15, 5 yr Arglwydd eich Duw ddyscu i chwi [eu] gwn-
euthur yn y wlad, yr hon yr ydych yn myned
iddi iw gorescyn.
Sal.111, 2 q Fel yr ofnech yr Arglwydd dy Dduw, gan
Diar.3,2 gadw ei holl ddeddfau, ai orchymynnion ef, y
rhai yr wyfi yn eu gorchymyn i ti: ti, a'th fab, a
mab dy fab, holl ddyddiau dy einioes, fel yr es-
tynner dy ddyddiau.
Ex.5,8 3 r Clyw gan hynny O Israel, ac edrych am
eu gwneuthur [hwynt,] fel y byddo yn ddaionus
i ti, ac fel y cynnyddoch yn ddirfawr, (fel yr
addawodd Arglwydd Dduw dy dadau i ti)
mewn gwlad yn llifeirio o laeth a mel.
Marc12, 4 s Clyw O Israel, yr Arglwydd ein Duw ni
2, 32 [sydd] un Arglwydd.
Mat.22, 5 t * Câr di gan hynny'r Arglwydd dy Dduw
Marc 12, a'th holl galon, ac a'th holl enaid, ac a'th holl nerth.
c 10, 6 u A bydded y geiriau hyn, y rhai'r ydwyf
Tim. yn eu gorchymyn i ti heddyw, yn dy galon.
7 v Ac hyspyssa hwynt i'th blant, a chrybwylla
ar. 2, am danynt pan eisteddech yn dy dŷ, a phan ger-
Bren. ddech ar y ffordd, a phan orweddech [i lawr,] a
Pen 11, phan gyfodech [i fynu.]
Diar. 8 w A rhwym hwynt yn arwydd ar dy law, a
or.3,3 byddant yn rhactalau rhwng dy lygaid.
Pedr 9 x Scrifenna hwynt hefyd ar bŷst dy dŷ, ac
h. 6, 4 yn dy byrth.
x 13,9
ir.3, 3 10 y Ac fe a dderfydd pan i'th ddygo'r Arg-
x.12,7 lwydd dy Dduw i'r wlad (yr hon y tyngodd efe
24,13 wrth dy dadau di, wrth Abraham, wrth Isaac,
ac wrth Iacob, ar ei rhoddi i ti) [i] ddinasoedd
mawrion a theg, y rhai nid adeiladaist,
Mat.5. 11 z A thai llawnion o bob daioni, y rhai nis
llenwaist, a phydewau cloddiedic, y rhai nis clo-
ddiaist, [i] winllannoedd, ac oliwydd-lannau y
rhai nis plannaist, yna y bwyttei ac i'th ddigonir:
12 a Cadw arnat, rhac anghofio o honot yr a Pen.8,
Arglwydd, yr hwn a'th ddug allan o wlad yr 11
Aipht o dŷ y caethiwed.
13 b Yr Arglwydd dy Dduw a ofni, ac ef a b Mat.4,
wasanaethi, ac iw enw ef y tyngi. 10
Ier. 4, 2
14 c Na cherddwch ar ol duwiau dieithr, o c Pen.8,
dduwiau y bobloedd, y rhai [ydynt] o'ch am- 19
gylchoedd chwi,
15 d (O blegit Duw eiddigus [yw]'r Arglwydd d Ex.20,5
dy Dduw yn dy fysc di) rhac i lid yr Arglwydd
dy Dduw ennyn yn dy erbyn, a'th ddifetha di
oddi ar wyneb y ddaiar.
16 e Na themptiwch yr Arglwydd eich Duw, e Mat.4,7
fel y temptiasoch [ef] ym Massa. Ex. 17, 2
Num20,5
17 f Gan gadw cedwch orchymynnion yr Ar- Diar. 30,
glwydd eich Duw ai destiolaethau ef, ai ddedd- 8
f Dan 11,
fau ef, y rhai a orchymynnodd efe i ti. 22
Sal.119,4
18 g A gwna'r hyn [sydd] inion a daionus yng- g Ioan 8,
olwg yr Arglwydd, fel y byddo da i ti, a myned 29
o honot i mewn, a gorescyn y wlad dda, yr hon
trwy lŵ a addawodd yr Arglwydd i'th dadau di.
19 h Gan yrru ymmaith dy holl elynion o'th h Barn.2,
flaen, fel y llefarodd yr Arglwydd. 1, 2
20 i Pan ofynno dy fab i ti wedi hyn, gan i Sal.78,
ddywedyd, Beth [yw] y testiolaethau, a'r dedd- 5, 6
fau, a'r barnedigaethau, y rhai a orchymynnodd
yr Arglwydd ein Duw i chwi?
21 j Yna dywet wrth dy fab, Buom weision i j Exodus
Pharao yn yr Aipht: a'r Arglwydd a'n dug ni Pen. 1, a
allan o'r Aipht, mewn llaw gadarn. phen. 2
Rhuf. 6,
17
22 Rhoddes yr Arglwydd hefyd arwyddion, Heb.2,14
a rhyfeddodau mawrion, a niweidiol, yn yr Aipht, Ex. 6, 1
ar Pharao, ai holl dŷ ef, yn ein golwg ni. a 3, 19
23 k Ac a'n dug ni allan oddi yno, fel y dyge k Luc12,
efe nyni i mewn, i roddi i ni y wlad yr hon trwy 48
lŵ a addawse efe i'n tadau ni.
24 l Yr Arglwydd gan hynny a orchymynnodd l Iob35,7
i ni wneuthur yr holl ddeddfau hyn, gan ofni'r Luc10,28
Arglwydd ein Duw er daioni i ni'r holl ddyddiau,
fel y cadwe efe nyni yn fyw, megis y dydd hwn.
25 m A chyfiawnder a fydd i ni os ymgadwn i m Lef.18,
wneuthur y gorchymmyn hwn oll o flaen yr Ar- 5
glwydd ein Duw, fel y gorchymynnodd efe i ni.

## PEN. VII.

*1 Gwahardd gwneuthur cyfammod a'r cenhedloedd. 8 Paham y dewisodd Duw Israel o flaen eraill. 19 Cyssur i Israel i ryfela. 25 A chyngor i ochel gau dduwiaeth.*

PAN n i'th ddygo yr Arglwydd dy Dduw, i n Sal 44,3
mewn i'r wlad, yr hon [yr ydwyt] ti yn myned o Pen.1,8
iddi iw gorescyn: a gyrru ymmaith o honaw ef o Ex 33,2
genedloedd lawer o'th flaen di, yr Hethiaid, a'r Ex. 23,
Gergeziaid, a'r Amoriaid, a'r Canaaneaid, a'r 3. a 34,12
Phereziaid, a'r Hefiaid, a'r Iebusiaid, o saith o p Act. 23
genhedlaethau lluossogach, a chryfach, na thi: Pen. 23,
14
1 Bren.11,
2
Ezra. 9,2
2 p A rhoddi o'r Arglwydd dy Dduw hwynt 2Cor.6,14

o'th flaen di, a tharo o honot ti hwynt: gan ddi-
frodi difroda di hwynt, na wna gyfammod a
hwynt, ac na thrugarha wrthynt.
q Ezra. 9, 1, 2 3 q Nac ymgyfathracha y chwaith a hwynt, na
ddod dy ferch iw fab ef, ac na chymmer ei ferch
ef i'th fab dithe.
r 1 Sam. 11, 2, 4 4 r Canys efe a dynn dy fab di oddi ar fy ol i,
1 Bren. 11, 9 felly y gwasanaethent dduwiau dieithr, ac yr
enynne llid yr Arglwydd i'ch erbyn chwi, ac
a'th ddifetha di yn ebrwydd.
s Ex. 34, 13 5 s Ond fel hyn y gwnewch iddynt, dinistriwch
eu hallorau, a thorrwch eu colofnau hwynt,
cwympwch hefyd eu llwynau, a lloscwch eu
delwau cerfiedic hwynt yn y tân.
* Pen. 26, 19, a 14, 2 6 Canys *pobl sanctaidd [ydwyt] ti i'r Arglw-
Ex. 19, 5 ydd dy Dduw: yr Arglwydd dy Dduw a'th dde-
1 Pedr. 2, 9 wisodd di i fod yn bobl unic iddo ei hun, o'r holl
bobloedd y rhai [ydynt] ar wyneb y ddaiar.
t Rhuf. 9, 11 7 t Nid am eich bod yn lluosogach na'r holl
Pen. 10, 22 bobloedd yr ymfoddlonodd yr Arglwydd ynoch
chwi, ac eich dewisodd: o herwydd chwi oedd-
ech anamlaf o'r holl bobloedd:
u Pen. 10, 15 8 u Ond o gariad yr Arglwydd arnoch chwi,
Mal. 1, 2 ac er mwyn cadw o honaw ef y llŵr hwn a dy-
Mat. 11, 26 ngodd efe wrth eich tadau, y dug yr Arglwydd
Ex 32, 12 chwi allan a llaw gadarn, ac a'ch gwaredodd o
Ioan 6, 34
Rhuf. 6, 14 dŷ y caethiwed, o law Pharao brenin yr Aipht.
v Esa. 49, 7 9 v Gwybydd gan hynny mai'r Arglwydd dy
Dduw, sydd Dduw, [sef] y Duw ffyddlon yn
1 Cor. 1, 9 cadw y cyfammod, a'r drugaredd, i'r rhai ai
Dan. 9, 4
Neh. 1, 5 carant ef, ac a gadwant ei orchymynnion, hyd
fil o genedlaethau.
w Esa. 65, 31 10 w Ac yn talu'r pwyth i'w gaseion ef, [pob
Pen. 25, 35 un] yn ei wyneb, gan ei ddifetha ef, nid oeda efe
iw gâs, yn ei wyneb y tâl efe iddo ef.
11 Cadw gan hynny y gorchymyn, a'r deddf-
au, a'r barnedigaethau, y rhai yr ydwyfi yn
gorchymyn i ti heddyw eu gwneuthur.
x 1 Tim. 4, 8 12 x A bydd, o achos gwrando o honoch chwi
Lef. 26, 3 y barnedigaethau hyn, ai cadw, ai gwneuthur
Sal. 105, 8, 11 hwynt, am hynny y ceidw yr Arglwydd dy
Luc. 1, 55 Dduw a thi y cyfammod, a'r drugaredd, y rhai
a addawodd efe trwy lŵ i'th dadau di:
y Adn. 7 13 y Ac a'th gâr, * ac a'th fendithia, ac a'th aml-
Ioan. 14, 21 ha di, ac a fendiga ffrwyth dy fru, a ffrwyth dy
Pen. 28, 4 dir di, dy ŷd, a'th win, a'th olew, [a] mwyniant
* Ex. 23, 26 dy warthec, a chorlannau dy ddefaid yn y tir yr
hwn y tyngodd efe wrth dy dadau ar ei roddi iti.
14 Bendigediccaf fyddi o'r holl bobloedd, † ni
bydd yn dy blith di un gwryw, nac un fenyw yn
anffrwythlon: nac ym mhlith dy anifeiliaid di.
z Ex. 15, 26 15 z Hefyd yr Arglwydd a dynn oddiwrthit
* Ex. 9, 14 ti bob gwendid, ac ni esyd arnat ti'r un o gle-
a Num. 14, 9 fydau drwg yr *Aipht, y rhai a adwaenost: ond
Pen. 13, 8 ar dy holl gaseion di y rhydd efe hwynt.
* Ex. 23, 33 16 a Difetha * gan hynny'r holl bobloedd, y rhai
Sal. 106, 36 y mae'r Arglwydd dy Dduw ar roddi i ti, nac
arbeded dy lygaid ti hwynt, ac na wasanaetha eu
duwiau hwynt, o blegit magl i ti a fydde hynny.
17 b Os dywedi yn dy galon, Lluosogach yw y b Pen. 1, 17
cenhedloedd hyn na myfi, pa ddelw y gallaf eu Num. 33
gorescyn hwynt?
18 c Nac ofna rhacddynt, gan gofio cofia yr c Sal. 77, 11
hyn a wnaeth yr Arglwydd dy Dduw i Pharao, Pen. 4, 3
ac i'r holl Aipht.
19 Y * profedigaethau mawrion, y rhai a wel- * Pen. 4, 34
odd dy lygaid, a'r arwyddion, a'r rhyfeddodau, a 29, 3
a'r llaw gadarn, a'r braich estynnedic, a pha rai * Ex. 15, 25
i'th ddûg yr Arglwydd dy Dduw allan: felly a 16, 4
y gwna'r Arglwydd dy Dduw i'r holl bobloedd
y rhai yr wyt ti yn ofni rhacddynt.
20 A'r * Arglwydd dy Dduw hefyd a ddenfyn * Ios. 24,
gaccwn yn eu plith hwynt, hyd oni ddarfyddo Ex. 23,
am y rhai gweddill, a'r rhai a ymguddiant
rhagot ti.
21 d Nac ofna rhacddynt, oblegit yr Arglwydd d Ex. 17
dy Dduw [sydd] Dduw mawr, ac ofnadwy, yn 1 Sam. 17
dy ganol di.
22 e A'r Arglwydd dy Dduw a yrr ymmaith e Pen.
y cenhedloedd hynny o'th flaen di, [bob] ychy- Lef. 26,
dic, [ac] ychydic: ni elli eu difetha hwynt yn Ezec.
gyflym, rhac myned o fwyst-filod y maes yn
amlach na thi.
23 f Ond yr Arglwydd dy Dduw ai rhydd f 1 Bren. 20,
hwynt o'th flaen di, ac ai cystuddia hwynt a Pen.
chystudd dirfawr, nes eu difetha hwynt.
24 g Ac a rydd eu brenhinoedd hwynt yn dy g Ios. 24
law di, fel y byddo it ddifetha eu henw hwynt Esa.
oddi tan y nefoedd, ni saif gŵr yn dy wyneb di 1 Cron. 12
nes difetha o honot ti hwynt. Esa.
25 Llosc ddelwau cerfiedic eu duwiau hwynt
yn y tân, na * chwennych arian, neu aur [yr hwn * Ios. 7,
sydd] arnynt, i'w cymmeryd i ti, rhac dy faglu ag
ef: o blegit ffieidd-dra'r Arglwydd dy Dduw [yw.]
26 h Na ddwg gan hynny ffieidd-dra i'th dŷ, fel h Ios. 6,
y byddech escymmyn-beth megis yntef: gan * Lef.
ddirmygu dirmyga ef, a chan ffieiddio ffieiddia 21
ef: o * blegit escymmyn-beth [yw] efe. Num.

## PEN. VIII.

*2 Duw yn profi beth oedd yng-halon yr Israeliaid gan eu darostwng hwynt. 3 Dyn yn byw wrth air Duw. 5 Duw yn maethdrino'r Israeliaid, fel gwr ei fab. 7 Gwlad yr addewid pa fath sydd arni. 10 Bod yn ddiolchgar i Dduw am ei roddion sydd raid. 18 Trwy Dduw y daw cyfoeth. 19 Anghofio Duw ai roddion a bâr jethiant.*

EDRYCHWCH am i wneuthur pob gorch- i Pen. 4, 1
ymyn yr hwn yr wyfi yn ei orchymyn it
heddyw, fel y byddoch fyw, ac y cynnyddoch,
ac yr eloch i mewn, ac y gorescynnoch y wlad,
yr hon a addawodd yr Arglwydd wrth eich
tadau trwy lŵ.
2 j A chofia'r holl ffordd, [yn] yr hon yr ar- j Amos 10
weiniodd yr Arglwydd dy Dduw di y deugain Salm. 15
mhlynedd hyn trwy'r anialwch er mwyn dy gys- Gen.
tuddio di, gan dy brofi, i wybod yr hyn [oedd]

yn dy galon, a gedwit ti ei orchymynnion ef, ai
nas [cedwit.]
Sal 102, 3 [k] Am hynny i'th ddarostyngodd, ac i'th ne-
Ecs. 16, wynodd di, ond efe a'th fwydodd a'r Manna yr
4 hwn nis adwaenit, ac nis adwaine dy dadau, fel
Mat.4,4 y gwnae efe it wybod * nad wrth fara yn unic y
Luc. 10, bydd fyw dŷn, ond wrth bob [gair] a'r sydd yn
Sal. 37,3 dyfod allan o enau'r Arglwydd, y bydd fyw dŷn.
Pen. 29, 4 [l] Dy ddillad ni heneiddiodd oddi am danat,
a'th droed ni chwyddodd y deugain mhlynedd
hyn.
Diar.3 5 [m] Cydnebydd gan hynny yn dy galon, [fod]
yr Arglwydd dy Dduw yn dy hyddyscu di, fel
y dysc gŵr ei fab ei hun.
Ex. 18, 6 [n] A chadw orchymynnion yr Arglwydd dy
Dduw, gan rodio yn ei ffyrdd a'i ofni ef.
Pen. 6, 7 [o] Am fod yr Arglwydd dy Dduw yn dy
Ezec. 47, ddwyn i mewn i wlad dda, gwlad afonydd, a
Salm 104, dyfroedd, ffynhonnau, a dyfnderau yn tarddu
11 allan yn y gwastad, ac yn y mynydd.
Can. 4, 8 [p] Gwlad gwenith, a haidd, a gwinwydd, a
Sal. 81,9 ffigus-wydd, a phomgranad-wydd, gwlad olew
oliwydden, a mêl.
Ecs.3,9 9 [q] Gwlad yr hon ni fwyttei fara ynddi mewn
prinder, [ac] ni bydd eisie dim arnat ynddi:
gwlad yr hon [y mae] ei cherric hi yn haiarn,
ac oi mynyddoedd y cloddi brês.
Diar.13, 10 [r] Pan fwyttêch, a'th ddigoni: yna y ben-
Dat. 14, dithi'r Arglwydd dy Dduw, am y wlad dda yr
hon a roddes efe i ti.
Sal. 106, 11 [s] Cadw arnat rhac anghofio o honot yr Ar-
20 glwydd dy Dduw heb gadw ei orchymynnion,
ai farnedigaethau, ai ddeddfau ef, y rhai'r ydwyfi
yn eu gorchymyn it heddyw.
Num.32, 12 [t] Rhac it fwytta a'th ddigoni, ac adailadu
tai têg, a thrigo ynddynt,
13 A lluossogi o'th warthec, a'th ddefad di,
ac amlhau o arian ac aur gennit, a chwanegu
o'r hyn oll [y sydd] i ti:
1Cor.4, 14 [u] A derchafu o'th galon, ac anghofio o
honot yr Arglwydd dy Dduw yr hwn a'th ddûg
allan o wlad yr Aipht o dŷ y caethiwed.
Esa. 63, 15 [v] Yr hwn a'th dywysodd di trwy'r anialwch
12,6 mawr ac ofnadwy, [lle'r ydoedd] seirph lloscad-
Num. 21, wy, ac scorpionau, a syched lle nid [oedd] dwfr: yr
Sal. 53,7 *hwn a dynnodd i ti ddwfr allan o'r graig gallestr.
Sal. 114,7
Num. 32, 16 [w] Yr hwn a'th fwydodd yn yr anialwch a
Exom. Manna, yr hwn nis adwaene dy dadau, er dy
11
Heb.12 ddarostwng, ac er dy brofi di, i wneuthur daioni
.24,5 i ti, yn dy ddiwedd di.
Luc.16,15 17 [x] [Rhac] dywedyd o honot hefyd yn dy
Dan.12, galon, Fy nerth fy hun, a chryfder fy llaw a bar-
odd i mi y cyfoeth hwn.
Diar.10 18 [y] Ond cofia yr Arglwydd dy Dduw, o blegit
Hos.2,8 efe yw yr hwn sydd yn rhoddi nerth i ti, i beri
cyfoeth, fel y cadarnhâe efe ei gyfammod yr hwn a
dyngodd efe wrth dy dadau, fel y dydd hwn.

19 [z] Ac os gan anghofio'r anghofi'r Arglwydd zSal. 106, 19, 21
dy Dduw, a dilyn duwiau dieithr, ai gwasan- Pen. 30, 19
aethu hwynt, ac ymgrymmu iddynt: * yr yd- *Pen. 4,
wyfi yn testiolaethu yn eich erbyn chwi heddyw, 26
gan ddifetha eich difethir.
20 [a] Fel y cenhedloedd y rhai y mae'r Arg- aDan. 9,
lwydd ar eu difetha o'ch blaen chwi: felly y 12 Amos. 3
difethir chwithau, am na wrandawsoch ar lais 2 Luc. 12,
yr Arglwydd eich Duw. 48

## PEN. IX.

*Moses sydd yn dangos nad er eu cyfiawnder ai hauddedigaeth eu hun y gwnaeth Duw ddaioni i Israel.*

GWRANDO [b] Israel ti sydd yn myned bPen.1,3
heddyw tros yr Iorddonen, gan fyned i Ios. 4, 19 2Cor. 6,2
orescyn cenhedloedd mwy a chryfach na thi, din- Pen. 1,1 Num. 34,
asoedd [hefyd] mawrion, a chaeroc hyd y nefoedd. 12
2 [c] Pobl fawr, ac uchel, meibion Anac y rhai a cNum.13
adnabuost, ac y * clywaist ti [ddywedyd am dan- 23 *Dat. 13,
ynt,] Pwy a saif o flaen meibion Anac? 29
3 [d] Gwybydd gan hynny heddyw, mai'r Arg- dNum.14
lwydd dy Dduw sydd yn myned trosodd o'th 1 Sal.56,34
flaen di yn dân yssol, efe ai difetha hwynt, ac efe Pen.4,24 Pen.7,22
ai darostwng hwynt o'th flaen di: fel y gores-
cynnech hwynt, ac y difethech hwynt yn fuan,
megis y llefarodd yr Arglwydd wrthit.
4 [e] Na ddywet yn dy galon, pan yrro'r Ar- eSal. 14,1
glwydd dy Dduw hwynt allan o'th flaen di, gan Adn. 5,6
ddywedyd, Am fyng-hyfiawnder y dygodd yr
Arglwydd fi i orescyn y tir hwn: canys am an-
nuwioldeb y cenhedloedd hyn y gyrrodd yr Ar-
glwydd hwynt allan o'th flaen di.
5 [f] Nid am dy gyfiawnder di, nac am iniondeb fGen.15,
dy galon y daethost i orescyn eu tir hwynt, onid 16 1Tim.1,9
am annuwioldeb y cenhedloedd hyn y bwriodd Gen.12,7 a 13, 15
yr Arglwydd dy Dduw hwynt allan o'th flaen
di: ac er cyflawni y gair yr hwn a dyngodd yr
Arglwydd wrth dy dadau di [sef] wrth Abra-
ham, wrth Isaac, ac wrth Iacob.
6 [g] Gwybydd dithe, nad am dy gyfiawnder dy gGen.12,
hun y rhoddes yr Arglwydd it y tir daionus hwn 5 Ex. 32,29
iw orescyn: canys pobl war-galed ydych.
7 [h] Meddwl [ac] na anghofia pa fodd y digiaist hPen.33,
yr Arglwydd dy Dduw yn yr anialwch, o'r dydd 6
y daethost allan o dir yr Aipht, hyd eich dyfod
i'r lle hwn: gwrthryfelu y buoch a'r Arglwydd.
8 [i] Yn Horeb hefyd y digiasoch yr Arglwydd, iEx. 32,4
ac ymddigiodd yr Arglwydd wrthych i'ch difetha. Sal. 106, 19
9 Pan ddringais i'r mynydd i gymmeryd y
llechau meini, [sef] llechau y cyfammod, yr hwn *Ex. 24,
a wnaeth yr Arglwydd a chwi: * yna'r arhoais 12,18 a 34, 28
yn y mynydd ddeugain nhiwrnod, a deugain j Adn. 18
nhôs, [j] bara ni fwytteais, a dwfr nid yfais. 1Bren.13 8, 9
10 A * rhoddes yr Arglwydd attaf y ddwy lech 5Bren. 6, 22
faen, wedi eu scrifennu [k] a bys Duw, ac arnynt Mat. 4, 2 *Ex. 31,
[yr oedd] yn ol yr holl eiriau, y rhai a lefarodd 18
yr Arglwydd wrthych yn y mynydd, o ganol y k Luc 11, 20
tân, a'r ddydd y gynnulleidfa. Mat. 12, 28

11 [l] A bu ym mhen y deugain nhiwrnod, a'r
deugain nhos, roddi o'r Arglwydd attaf y ddwy
lech faen: [sef] llechau y cyfammod.
12 [m] A dywedodd yr Arglwydd wrthif, * Cy-
fot, dos oddi ymma i wared yn fuan, canys ym-
lygrodd dy bobl y rhai a ddygaist allan o'r
Aipht: ciliasant yn ebrwydd o'r ffordd yr hon
a orchymynnais iddynt, gwnaethant iddynt eu
hun ddelw dawdd.
13 [n] A llefarodd yr Arglwydd wrthif gan ddy-
wedyd, Gwelais y bobl hyn, ac wele pobl
war-galed ydynt.
14 [o] Paid a mi a mi ai destrywiaf hwynt, ac a
ddeleaf eu henw hwynt oddi tann y nefoedd,
ac a'th wnaf di yn genedl gryfach ac amlach na
hwynt.
15 [p] Ac mi a ddychwelais ac a ddaethym i
wared o'r mynydd, a'r mynydd ydoedd yn llosci
gan dân, a dwy lech y cyfammod yn fy nwylaw.
16 [q] Edrychais hefyd, ac wele pechasech yn
erbyn yr Arglwydd eich Duw, gwnelsech iwch
lô tawdd, ciliasech yn fuan o'r ffordd yr hon a
orchymynnase yr Arglwydd i chwi.
17 Yna'r ymaflais yn y ddwy lêch, ac ai tefl-
ais hwynt o'm dwy law: ac ai torrais hwynt o
flaen eich llygaid chwi.
18 [r] A syrthiais ger bron yr Arglwydd, fel y
waith gyntaf ddeugain nhiwrnod, a deugain
nhos, ni fwytteis fara, ac nid yfais ddwfr, am
eich holl bechodau chwi, y rhai a bechasech gan
wneuthur drygioni yng-olwg yr Arglwydd i'w
ddigio ef.
19 [s] Canys ofnais rhac y sorriant a'r dig drwy
y rhai y digiodd yr Arglwydd wrthych i'ch din-
istrio chwi: etto gwrandawodd yr Arglwydd
arnaf y waith honno hefyd.
20 [t] Wrth Aaron hefyd y digiodd yr Arglwydd
yn fawr, i'w ddifetha ef, a mi a eiriolais hefyd
tros Aaron y waith honno.
21 [u] Eich pechod chwi hefyd yr hwn a wnaeth-
och, sef y llo a gymmerais, ac ai lloscais yn tân,
coethais ef hefyd, gan ei falurio yn dda, nes ei
falu yn llwch: a bwriais ei lwch i'r afon, yr hon
oedd yn descyn o'r mynydd.
22 * O fewn Taberah hefyd, ac o fewn Massa,
ac o fewn Beddau y blŷs yr oeddych yn digio'r
Arglwydd.
23 [v] A phan anfonodd yr Arglwydd chwi o
Cades Barnea, gan ddywedyd, Ewch i fynu a
gorescynnwch y tir, yr hwn a roddais i chwi,
yna yr anufyddhasoch air yr Arglwydd eich
Duw: ni chredasoch hefyd iddo, ac ni wran-
dawsoch ar ei lais ef.
24 [w] Gwrthnyssic fuoch wrth yr Arglwydd, er
y dydd yr adnabum chwi.
25 [x] Ac mi a syrthiais ger bron yr Arglwydd
y deugain nhiwrnod a'r deugain nhos, fel y
syrthiaswn o'r blaen, am ddywedyd o'r Arg-
lwydd am eich difetha chwi.
26 [y] Eiriolais hefyd ar yr Arglwydd, a dywed-
ais: Arglwydd Dduw na ddifetha dy bobl, a'th
etifeddiaeth yr hon a waredaist yn dy fawredd,
yr hon a ddygaist allan o'r Aipht mewn llaw gref.
27 [z] Meddwl am dy weision, am Abraham, am
Isaac, ac am Iacob, nac edrych ar galedrwydd
y bobl hyn, nac ar eu drygioni, nac ar eu pechod:
28 [a] Rhac dywedyd o'r wlad yr hon y dygaist
ni allan o honi, * o eisie gallu o'r Arglwydd eu
dwyn hwynt i'r tir yr hwn a addawse efe iddynt,
ac oi gâs arnynt y dug efe hwynt allan iw lladd
yn yr anialwch.
29 [b] Etto dy bobl, a'th etifeddiaeth [ydynt]
hwy y rhai a ddygaist allan yn dy fawr nerth, ac
yn dy estynnedic fraich.

## PEN. X.

*Duw yn ail roddi llechau y ddeddf. 5 Moses yn eu gosod hwynt yn yr Arch. 8 Swydd a rhan y Lefiaid. 12 Moses trwy amryw resymmau yn annog y bobl i ofni Duw, ai ufyddhau.*

YR [c] amser hwnnw y dywedodd yr Arg-
lwydd wrthif, * Nadd it ddwy lech faen
fel [y rhai] cyntaf, a thyret i fynu attafi i'r my-
nydd, a gwna it arch bren.
2 [d] A mi a scrifennaf ar y llechau, y geiriau y
rhai oeddynt ar y llechau cyntaf y rhai a dor-
raist: a gosot tithe hwynt yn yr arch.
3 [e] Yna gwneuthum arch o goed Sittim, ac a
neddais ddwy lech faen fel y rhai cyntaf, ac a eu-
thum i fynu i'r mynydd, a'r ddwy lech yn fy llaw.
4 [f] Ac efe a scrifennodd ar y llechau, fel y scri-
fen gyntaf, y deng-air y rhai a lefarodd yr Ar-
glwydd wrthych yn y mynydd, o ganol y tân yn
nydd y gynnulleidfa: a rhoddes yr Arglwydd
hwynt attafi.
5 [g] Yna y dychwelais, ac y daethum i wared
o'r mynydd, ac mi a osodais y llechau yn yr arch
yr hon a wnaethwn: ac yno y buant megis y
gorchymynnodd yr Arglwydd i mi.
6 [h] A meibion Israel a gychwnnasant o Bee-
roth meibion Iacan i Mosera, yno y bu farw
Aaron, ac efe a gladdwyd yno: ac Eleazar ei
fab a offeiriadodd yn ei le ef.
7 [i] Oddi yno y cychwnnasant i Gudgodah: ac
o Gudgodah i Iethebath, tir [llawn o] afonydd
dyfroedd.
8 [j] Yr amser hwnnw y neillduodd yr Arglwydd
lwyth Lefi i ddwyn arch cyfammod yr Arglwydd,
i sefyll ger bron yr Arglwydd, iw wasanaethu
ef, ac i fendigo yn ei enw ef, hyd y dydd hwn.
9 [k] Am hynny ni bydd rhan i Lefi, nac etifedd-
iaeth gyd ai frodyr: yr Arglwydd yw ei etifedd-
iaeth ef, megis y dywedodd yr Arglwydd dy
Dduw wrtho ef.
10 Ac mi a arhoais yn y mynydd ddeugain

nhiwrnod a deugain nhos, fel y dyddiau cyntaf:
a gwrandawodd yr Arglwydd arnaf y waith
hon hefyd, ni ewyllyssiodd yr Arglwydd dy
ddifetha di.
11 A dywedodd yr Arglwydd wrthif, Cyfot,
dos i gychwyn o flaen y bobl, fel y delant, ac y
gorescynnant y tir yr hwn a dyngais wrth eu
tadau am ei roddi iddynt.
l Mica6,8 12 l Ac yr awr hon Israel beth y mae'r Ar-
Pen.6,13 glwydd dy Dduw yn ei ofyn gennyt? onid ofni'r
Sal. 25,3, 4 Arglwydd dy Dduw, gan rodio yn ei holl ffyrdd,
Act. 18, 25 a chan ei garu ef, a chan wasanaethu'r Arglwydd
1Tim.1,5 dy Dduw a'th holl galon, ac a'th holl enaid:
1 Ioan 3, 18 13 m Gan gadw gorchymynnion yr Arglwydd,
m Mat 6, 33 ai ddeddfau, y rhai a orchymynnais i ti y dydd
hwn, er budd i ti.
n Mat 6, 14 n Wele y nefoedd, a nefoedd y nefoedd [yd-
26 ynt] eiddo'r Arglwydd dy Dduw: y ddaiar
2Cor.12,2 Sal.24, 8 [hefyd] a'r hyn oll [sydd] ynddi.
o Ex. 33, 19 15 o [Etto] ar dy dadau di yn unic y rhoddes
yr Arglwydd ei serch gan eu hoffi hwynt, ac efe
a wnaeth ddewis oi hâd hwynt ar eu hol hwynt,
[sef] o honoch chwi, o blith yr holl bobloedd,
megis heddyw [y gwelir.]
p Gen.17, 11 16 p * Enwaedwch chwithau ddienwaediad eich
Ier. 4,4 calon, ac na chaledwch eich gwarr mwyach.
q Sal.82,1 17 q Canys yr Arglwydd eich Duw chwi yw
Act 10,34 Duw y duwiau, ac Arglwydd yr arglwyddi, y
Sam.8,3 2 Cron. Duw mawr, cadarn, ac ofnadwy, yr * hwn ni
9 7 Iob 34,19 dderbyn wyneb, ac ni chymmer wobr.
Ruf.2,11 18 r Yr hwn a farna'r ymddifad a'r weddw, ac
2Sam.18 9 y sydd yn hoffi y dieithr, gan roddi iddo fwyd
Pen. 14, 29 a dillad.
Lef. 19, 19 s Hoffwch chwithau y dieithr, canys dieithr-
4 Gen. 2, aid fuoch yn nhir yr Aipht.
4 Pen. 6,13 20 Yr * Arglwydd dy Dduw a ofni, ac ef a
Mat. 4,10 wasanaethi, wrtho ef hefyd y glyni, ac i'w enw
ef y tyngi.
Ier.17,14 21 t Efe yw dy fawl, ac efe yw dy Dduw, yr
Sal. 106, 2 hwn a wnaeth it y mawrion a'r ofnadwy [bethau]
hyn, y rhai a welodd dy lygaid.
Gen.46, 22 Dy dadau a aethant i wared i'r Aipht, * yn
7 Ex. 1, 5 ddec enaid a thrugain, yr awr hon yr Arglwydd
Gen.15,5 Pen. 1,10 dy Dduw a'th osododd di fel sêr y nefoedd o
luossogrwydd.

## PEN. XI.

*Annog i garu Duw. 18 I fyfyrio ar ei air ef: ac i ddyscu hwnnw iw plant. 26 Gwobr y rhai a wnant, neu y rhai ni wnant hyn.*

Pen.10, CAR u dithe'r Arglwydd dy Dduw, a chadw
ei gadwriaeth ef, ai ddeddfau, ai farned-
Ef. 8,35 igaethau, ai orchymynnion byth.
Pen. 4, 2 v A chydnabyddwch heddyw nad gan eich
Pen.3,24 plant (y rhai nid adnabuant, ac ni welsant) y mae
4. 34. athrawiaeth yr Arglwydd eich Duw chwi, ei
9, 27 fawredd, ei law gref, ai fraich estynnedic.
3 Ei arwyddion hefyd, ai weithredoedd, y rhai
a wnaeth efe yng hanol yr Aipht, i Pharao bre-
nin yr Aipht, ac iw holl dir.
4 w A'r hyn a wnaeth efe i lu'r Aipht, iw feirch w Ex.15,4
ef, ac i'w gerbydau: y modd y gwnaeth efe i ddyf-
roedd y môr coch lenwi tros eu hwynebau
hwynt, pan oeddynt yn ymlid ar eich ol, ac y di-
fethodd yr Arglwydd hwynt hyd y dydd hwn:
5 x A'r hyn a wnaeth efe i chwi yn yr anialwch x Sal. 77,
nes eich dyfod i'r lle hwn: 20
6 y A'r hyn a wnaeth efe i Ddathan, ac i Abi- y Num.16
ram, meibion Eliab, mab Ruben: y modd yr a- 31. a 27,3 Sal.106,17
gorodd y ddaiar ei safn, ac ai llyngcodd hwynt,
ai tai, ai pebyll, a'r holl olud 'r hwn [ydoedd]
ganddynt ym mysc holl Israel.
7 z Eithr eich llygaid chwi oeddynt yn gweled z Pen.5,3
holl fawrion weithredoedd yr Arglwydd, y rhai
a wnaeth efe.
8 a Cedwch chwithau bob gorchymmyn yr hwn a Ios. 1,6, 7
yr ydwyfi yn ei orchymmyn heddyw, fel y cryf- Esa.60,21
haoch, ac yr eloch, ac y gorescynnoch y tir yr a 65, 9
hwn yr ydych yn myned trosodd iddo iw orescyn.
9 b Ac yr estynnoch ddyddiau ar y ddaiar yr b Pen. 5, 16
hon a dyngodd yr Arglwydd i'ch tadau, ar ei Diar. 9,
rhoddi iddynt, ac i'w hâd, [sef] tir yn llifeirio o 11. a10,27
laeth a mel.
10 c O herwydd y tir yr hwn yr wyt yn myned c Zec. 14,
iddo iw orescyn, nid fel tir yr Aipht y mae efe 18
yr hwn y daethoch allan o honaw, lle'r heuaist dy
hâd, ac y dwfrheaist a'th droed d, fel gardd lysiau. d Gen.30,
11 e Ond y tir yr hwn yr ydych yn myned tros- 30 Sal.128,2
odd iddo i'w orescyn, [sydd] fynydd-dir, a dyff- 1Cor.1,1 20. a2,4,5
ryn dir [ac] a ŷf ddwfr o law y nefoedd. e Pen.8,7 Esa. 45,8
12 f Tir [yw efe] yr hwn y mae'r Arglwydd dy f Ier.40,4
Dduw yn ei ymgeleddu, llygaid yr Arglwydd Sal. 34,15
dy Dduw [ydynt] bob amser arno, o ddechreuad
y flwyddyn, hyd ddiwedd y flwyddyn hefyd.
13 A bydd os gan wrando y gwrandewch ar
fyng-orchymynnion y rhai yr ydwyf yn eu gor-
chymyn i chwi heddyw, gan garu'r Arglwydd
eich Duw, a chan ei wasanaethu a'ch holl galon,
ac a'ch holl enaid:
14 g Yna y rhoddaf law i'ch tir yn ei amser [sef] g Ioel 2, 23
y cynnar-law, a'r diweddar-law, fel y casclech dy Zec. 10,1
ŷd, a'th win, a'th olew. Sal. 104, 13, 14
15 h A rhoddaf wellt-glas yn dy faes i'th ani- h Ioel2,19
feiliaid, fel y bwytteich, ac i'th ddigoner.
16 i Gwiliwch arnoch rhag twyllo eich calon, i Iob. 31,
a chilio o honoch, a gwasanaethu duwiau di- 27
eithr, ac ymgrymmu iddynt,
17 j Ac enynnu digllonedd yr Arglwydd i'ch j 1Bren. 8
erbyn, a chaeu o honaw ef y nefoedd, fel na by- 35 Pen.7,22
ddo glaw, ac na roddo y ddaiar ei chnwd, a'ch
difetha yn fuan o'r tir daionus, yr hwn y mae
yr Arglwydd yn ei roddi i chwi.

Pen. XI, adn. 14.] "Cynnar-wlaw, &c." Dwy waith y flwyddyn, sef yn mis Medi, neu Hydref, i dyfrhau y gwenith wedi ei hau; ac yn mis Abib, neu Mawrth (mis cyntaf eu blwyddyn eglwysig) i'w ffrwythloni, cyn ei fedi, Ioel ii, 23. Zec. x. 1. Felly y mae Crist yn Awdwr a Pherffeithydd ein ffydd, Deut. xxxii, 2.

kEx.13,9 *Pen.6,6 8 18 [k]Am hynny gosodwch fyng-eiriau hyn *yn
eich calon, ac yn eich meddwl, a rhwymwch
hwynt yn arwydd ar eich dwylo, a byddant yn
rhactalau rhwng eich llygaid.
lPen.6,7 Diar. 6, 22 19 [l]A dyscwch hwynt i'ch plant, gan grybwyll
am danynt pan eisteddech yn dy dŷ, a phan
rodiech ar y ffordd, pan orweddech hefyd, a
phan godech.
mGen.6, 9 20 [m] Ac scrifenna hwynt ar byst dy dŷ, ac ar
dy byrth:
nDiar.4, 10 21 [n] Fel yr amlhao eich dyddiau chwi, a dydd-
iau eich plant chwi ar y ddaiar, yr hon a dyng-
odd yr Arglwydd wrth eich tadau am ei rhoddi
[hi] iddynt, fel dyddiau y nefoedd ar y ddaiar.
oAdn.13 Sal.15,5 Pen.10, 20 22 [o] Canys os gan gadw y cedwch yr holl orch-
ymynion hyn, y rhai yr ydwyfi yn eu gorchymyn
i chwi iw gwneuthur, gan garu yr Arglwydd
eich Duw, gan rodio yn ei holl ffyrdd ef, a chan
lynu wrtho ef:
pPen.9,1 23 [p] Yna y gorescyn yr Arglwydd yr holl gen-
hedloedd hyn o'ch blaen chwi, a chwi a ores-
cynnwch genhedloedd mwy a chryfach na chwi.
*Ios.1,3 a 14,9 24 Pob * man a'r y sathro gwadn eich troed
chwi arno fydd eiddo chwi, o'r anialwch a Ly-
qPen.1,7 Pen.30,4 2Cron.9, 26 banus [ac] o'r afon [sef] [q] afon Euphrates, hyd y
môr olaf y bydd eich terfyn chwi.
rIos.1,5 Pen.2,25 25 [r] Ni saif gŵr yn eich wyneb, eich arswyd
a'ch ofn a rydd yr Arglwydd eich Duw ar wyneb
yr holl dir, yr hwn y sathroch arno: megis ac y
llefarodd wrthych.
sPen.30, 15 26 [s] Wele rhoddi'r ydwyfi o'ch blaen chwi
heddyw, fendith, a melldith.
*Pen.28, 1,2. a 30,1 27 * Bendith, os gwrandewch ar orchymyn-
ion yr Arglwydd eich Duw, y rhai'r ydwyfi yn
[eu] gorchymyn i chwi heddyw:
tPen.28, 15 28 [t] A melldith, oni wrandewch ar orchymyn-
ion yr Arglwydd eich Duw: ond cilio o honoch
o'r ffordd yr hon yr ydwyfi yn ei gorchymyn i
chwi heddyw: gan fyned ar ol duwiau dieithr, y
rhai nid adnabuoch.
uSal.133 3 29 [u] Bydded gan hynny pan ddygo'r Arglwydd
dy Dduw di i'r tir yr hwn yr ydwyt yn myned
iddo iw orescyn, roddi o honot y * fendith ar
*Pen.27, 13 fynydd Garizim, a'r felldith ar fynydd Ebal.
Ios.8,34 vIos.5,9 Gen.12,6 7 30 [v] Onid [yw] y rhai hyn or tu hwnt i'r Ior-
ddonen, tua'r lle y machluda haul yn nhir y
Barn.9,6 7 Canaaneaid, yr hwn sydd yn trigo yn y rhos, ar
gyfer Gilgal, ger llaw llwyn Morah?
wIos.1, 11,12 31 [w] Canys myned yr ydych tros yr Iorddonen,
i fyned i orescyn y tir yr hwn y mae yr Arg-
Sal.44,2, 3 lwydd eich Duw yn ei roddi i chwi: a chwi ai
Rhuf.6, 23 gorescynnwch ac a bresswyliwch ynddo.
xSal.15,5 Mat.23,3 32 [x] Gwiliwch chwithau am * wneuthur yr
Rhuf.2, 13 holl ddeddfau a'r barnedigaethau y rhai'r ydwyfi
Sal.119,6 yn eu rhoddi o'ch blaen chwi heddyw.
*Pen.5, 32

## PEN. XII.

*Gorchymyn dinistrio pob lle'r hwn y buase delw-addoliad, neu gau-dduwiaeth ynddo. 5 Bod i ni addoli Duw yn y lle a'r modd y gorchymynno Duw. 19 Bod yn rhaid yngo-leddu y Lefiaid. 20 Beth a ellir ei fwytta gartref. 23 Gwahardd gwaed. 31 Offrymmiad plant. 32 Parch a digonoldeb gair Duw.*

DYMMA [y] y deddfau, a'r barnedigaethau, y 1Bren. 8,40
y rhai a wiliwch am [eu] gwneuthur, (yn y
tir yr hwn a rydd Arglwydd Dduw dy dadau i
ti iw orescyn,) yr holl ddyddiau y rhai y byddoch
fyw ar y ddaiar.
2 [z] Gan ddinistrio dinistriwch yr holl fannau, zPen.7,5
y rhai y gwasanaethodd y cenhedloedd (y rhai Num.33, 52
yr ydych chwi yn eu gorescyn) eu duwiau yn- 2Bren.16,
ddynt, ar y mynyddoedd uchel, ac ar y bryn- 4 a 23,13
nau, a thann bob pren gwyrdd-las. 1Cor.8,5. 6
3 * [a] Drylliwch hefyd eu hallorau hwynt, a 2Bren.17, 10
thorrwch eu colofnau hwynt, lloscwch hefyd eu Ier.3,6
llwynau hwynt a thân: a thorrwch gerfiedic 2Bren.16, 4
ddelwau eu duwiau hwynt, a dinistriwch eu *Barn.2, 2
henwau hwynt o'r lle hwnnw. a Ex.23, 24
4 [b] Na wnewch felly i'r Arglwydd eich Duw. Num.33, 52
5 [c] Ond y lle (yr * hwn a ddewiso'r Arglwydd Sal.16,4
eich Duw chwi o'ch holl lwythau chwi, i osod bLef.10, 23
ei enw yno [ac] i fod yn drigfa iddo) a geisiwch, Sal.74,4, 5
ac yno y deuwch. c Sal.78, 67
6 [d] A dygwch yno eich poeth offrymmau, a'ch 1Bren.8 29
aberthau, a'ch degymmau, ac offrwm derchafel 2Cron.6
eich llaw, eich addunedau hefyd, a'ch offrym- 5. a 7,12
mau gwirfodd, a chyntaf-anedic eich gwarthec, Num.7, 88
a'ch defaid. Lef.17,8, 9
7 [e] A bwyttewch yno ger bron yr Arglwydd dLef.17, 38
eich Duw, a llawenhewch ym mhob dim yr es- Num.18, 15
tynnoch eich llaw arno, chwchwi a'ch teuluoedd eNum.8
y rhai y bendithiodd yr Arglwydd dy Dduw di Sal.100,1
[a hwynt.]
8 [f] Na wnewch yn ol yr hyn oll yr ydym ni f Act.7, 44
yn ei wneuthur ymma heddyw, pob un yr hyn 2Sam.19, 6
[sydd] inion yn ei olwg ei hun.
9 [g] Canys ni ddaethoch hyd yn hyn i'r orphy- g1Cron. 23,25
wysfa, ac i'r etifeddiaeth yr hon y mae'r Arg-
lwydd dy Dduw yn ei rhoddi it.
10 [h] Ond chwi a ewch tros yr Iorddonen, ac hBarn.8, 11
a drigwch yn y tir yr hwn y mae'r Arglwydd
eich Duw yn ei roddi yn etifeddiaeth i chwi, ac
efe a rydd lonydd i chwi oddi wrth eich holl
elynnion o amgylch, fel y presswylioch yn
ddiogel.
11 [i] Pan fyddo lle wedi i'r Arglwydd eich i Adn.5 Ier.7,12
Duw ei ddewis iddo i beri iw enw aros ynddo,
yno y dygwch yr hyn oll yr ydwyf fi yn ei orch-
ymyn i chwi: [sef] eich poeth offrymmau, a'ch
aberthau, eich degymmau, a derchafel offrwm
eich llaw, a'ch holl ddewis addunedau y rhai a
addunedoch i'r Arglwydd.
12 A llawenhewch ger bron yr Arglwydd eich
Duw, chwi a'ch meibion, a'ch merched a'ch
gweision, a'ch morwynion, a'r Lefiad yr hwn
[fydd] yn eich pyrth chwi: canys * nid [oes] *Pen.10, 9

iddo ran, nac etifeddiaeth gyd a chwi.
13 j Gwilia arnat rhac poeth offrymmu o honot
dy boeth offrymmau ym mhob lle ar a welech:
14 k Ond yn y lle yr hwn a ddewiso yr Arg-
lwydd o fewn un [o'th] lwythau di: yno y poeth
offrymmi dy boeth offrymmau, ac y gwnei yr
hyn oll yr ydwyfi yn ei orchymyn i ti.
15 l Er hynny ti a geli ladd, a bwytta cig, yn ol
holl ddymuniant dy galon, yn ol bendith yr
Arglwydd dy Dduw yr hon a rydd efe i ti, yn
dy holl byrth: yr aflan a'r glân a fwyttu o honaw
megis o'r iwrch a'r carw.
16 m Ond na fwyttewch y gwaed, ar y ddaiar
y tywelltwch ef fel dwfr.
17 n Ni elli fwytta o fewn dy byrth ddecfed dy
ŷd, na'th win, na'th olew, na chyntaf-anedic dy
warthec, na'th ddefaid, na'th holl addunedau y
rhai a addunech: na'th offrymmau gwirfodd, na
derchafel offrwm dy law.
18 o Ond o flaen yr Arglwydd dy Dduw y
bwyttei hyn, yn y lle yr hwn a ddewiso yr Arg-
lwydd dy Dduw, ti, a'th fab, a'th ferch, a'th was,
a'th forwyn, a'r Lefiad yr hwn [fydd] yn dy byrth
di: a llawenycha ger bron yr Arglwydd dy
Dduw yn yr hyn oll yr estynnech dy law arno.
19 q Gwilia p arnat rhac gwrthod y Lefiad tra
fyddech byw ar dy ddaiar.
20 Pan helaetho'r Arglwydd dy Dduw dy
derfyn di* megis y dywedodd wrthit, os dywedi
Bwyttaf gig: pan ddymuno dy galon fwytta cig,
yn ol holl ddymuniad dy galon y bwyttei gig.
21 q Os y lle'r hwn a ddewisodd yr Arglwydd
dy Dduw i roddi ei enw ynddo fydd pell oddi
wrthit, yna lladd o'th warthec, ac o'th ddefaid y
rhai a roddodd yr Arglwydd it, megis y gorch-
ymynnais i ti: a bwytta o fewn dy byrth wrth
holl ddymuniad dy galon.
22 r Etto fel y bwytteir yr iwrch, a'r carw, felly
y bwyttei ef, yr aflan, a'r glân ai bwyttu yng-hyd.
23 s Yn unic ymgryfhâ rhac bwytta y gwaed,
canys y gwaed yw yr enioes: ac ni chei fwytta
yr enioes yng-hyd a'r cig.
24 Na fwytta ef: ar y ddaiar y tywellti ef fel
dwfr.
25 t Na fwytta ef, fel y byddo daioni i ti ac
i'th feibion ar dy ôl: pan wnelech yr iuion yng-
olwg yr Arglwydd.
26 u Etto cymmer dy gyssegredic [bethau] y
rhai ydynt genit, a'th addunedau, a thyret i'r
lle'r hwn a ddewiso'r Arglwydd.
27 x Ac offrymma dy boeth offrwm ([sef] y
cig a'r gwaed) ar allor yr Arglwydd dy Dduw,
a gwaed dy aberthau a dywelltir wrth allor yr
Arglwydd dy Dduw: a'r cig a fwyttei di.
28 y Cadw a gwrando yr holl eiriau hyn y
rhai'r ydwyfi yn eu gorchymyn i ti: fel y byddo
daioni it, ac i'th feibion ar dy ôl byth, pan wne-
lech y daioni, a'r iniondeb yng-olwg yr Ar-
glwydd dy Dduw.
29 Pan ddinistrio yr Arglwydd Dduw, y cen-
hedloedd, y rhai yr wyt i yn myned attynt iw
gorescyn o'th flaen, ai gorescyn o honot, a phres-
swylio yn eu tir hwynt.
30 x Gwilia arnat rhac ymfaglu o honot ar eu
hol hwynt, wedi eu dinistrio hwynt o'th flaen di:
a rhac ymorol am eu duwiau hwynt, gan ddy-
wedyd: Pa fodd y gwasanaethodd y cenhedl-
oedd hyn eu duwiau, myfi a wnaf felly hefyd?
31 y Na wna di felly i'r Arglwydd dy Dduw,
canys pob ffieidd-dra yr hwn oedd gâs gan yr
Arglwydd a wnaethant iw duwiau: canys eu
meibion hefyd, ai merched a loscasant yn tân
iw duwiau.
32 Pob gair yr hwn yr wyfi yn ei orchymyn i
chwi, edrychwch am wnenthur hynny, * na
chwanega atto, ac na thyn oddi wrtho.

## PEN. XIII.

*Gau brophwydi sy raid eu gochelyd, ai cospi.*

PAN z godo yn dy fysc di brophwyd, neu
freuddwydudd breuddwyd (a rhoddi it
arwydd neu ryfeddod.
2 a A dyfod yr arwydd neu'r rhyfeddod yr
hwn a lefarodd efe wrthit, gan ddywedyd: awn
ar ol duwiau dieithr (y rhai nid adwaenost) a
gwasanaethwn hwynt.
3 b Na wrando ar eiriau y prophwyd hwnnw,
neu ar y breuddwydudd breuddwyd hwnnw,
canys'r Arglwydd eich Duw sydd yn eich profi
chwi, i wybod a ydych yn caru yr Arglwydd
eich Duw a'ch holl galon, ac a'ch holl enaid.
4 c Ar ol yr Arglwydd eich Duw yr ewch, ac
ef a ofnwch, ei orchymynnion ef hefyd a gedwch,
ac ar ei lais ef y gwrandewch: ef hefyd a was-
anaethwch, ac wrtho ef y glynwch.
5 d A'r prophwyd hwnnw, neu yr breuddwyd-
udd breuddwyd hwnnw, a roddir i farwolaeth,
canys llefarodd i'ch gwrthdroi yn erbyn yr Ar-
glwydd eich Duw, yr hwn a'ch dug chwi allan o
dir yr Aipht, ac a'ch gwaredodd chwi o dŷ y
caethiwed, i'th wthio o'r ffordd, yr hon i'th orch-
ymynnodd yr Arglwydd dy Dduw di i rodio yn-
ddi: felly y tynni ymmaith y drygioni o'th fysc.
6 e Os dy frawd, mab dy fam, neu dy fab dy
hun, neu dy ferch, neu dy wraig anwyl, neu dy
gyfell yr hwn [sydd] fel dy enaid dy hun a'th annog
yn ddirgel gan ddywedyd, Awn, a gwasanaethwn
dduwiau dieithr, y rhai nid adwaenost di, na'th
dadau:
7 [Sef rhai] o dduwiau y bobl y rhai [ydynt]
o'ch amgylch chwi, yn agos attat, neu ym mhell
oddi wrthit: o [un] cwrr y tir, hyd gwrr [arall]
y tir.
8 f Na fydd fodlon iddo, ac na wrando arno,
ac nac arbeded dy lygad ef, ac nac eiriach [ef,]

ac na chela arno.
*Pen17, 7 9 Ond gan ladd lladd ef, bydded dy * law di
arno ef yn gyntaf iw roddi iw farwolaeth: a
llaw yr holl bobl wedi hynny.
10 A llabyddia ef a meini fel y byddo efe farw,
canys ceisiodd dy wthio di oddi wrth yr Ar-
glwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddug di allan o
dir yr Aipht, o dŷ y caethiwed.
gDiar.21, 11 11 g A * holl Israel a glywant, ac a ofnant, ac
*Pen.17, 13 ni chwanegant wneuthur y fath beth drygionus
Sal. 119, 120 a hyn yn dy blith.
h 1Cor.5, 12 12 h Pan glywech am un o'th ddinasoedd, y
2Thes.2, 3 rhai y mae'r Arglwydd dy Dduw yn eu rhoddi
it i drigo ynddynt, gan ddywedyd:
i Adn. 1 13 i Aeth dynion, meibion y fall allan o'th
2Bren.17, 21 blith, a gyrasant drigolion eu dinas gan ddywed-
Ier. 2, 12 yd: Awn, gwasanaethwn dduwiau dieithr, y
rhai nid adnabuoch.
j Iob29,16 14 j Yna ymofyn, a chwilia, a chais yn dda: ac
Sal.50,18 os[mewn]gwirionedd y peth sydd siccr wneuthur
Pen.2,34 y ffieidd-dra hyn yn dy fysc:
15 Gan daro, taro drigolion y ddinas honno a
min y cleddyf, difroda hi, a'r rhai oll [a fyddant]
ynddi, ai hanifeiliaid hefyd, a min y cleddyf.
k Dat.17, 16 16 k Ai holl yspail hi a gescli i ganol ei heol
Dat.18,18 Dat.19,3 hi, ac a losci y ddinas ai holl yspail hi yn gwbl
i'r Arglwydd dy Dduw a thân: felly bydded yn
l Ios 6, 7 garnedd byth, nac adailader hi mwy.
*Pen.7, 25, 26 17 l Ac * na lyned wrth dy law di ddim o'r
Esa. 30, 22 diofrydbeth fel y dychwelo'r Arglwydd oddi
wrth angerdd ei ddig, ac y rhoddo it drugaredd
ac y tosturio wrthit, ac i'th amlhao megis y
tyngodd wrth dy dadau.
18 Tra y gwrandawech ar lais yr Arglwydd
dy Dduw, gan gadw ei holl orchymynnion ef,
y rhai'r wyfi yn [en] gorchymyn i ti heddyw:
gan wneuthur yr hyn sydd union yng-olwg yr
m Col. 1, 13 Arglwydd dy Dduw.

## PEN. XIV.

*Gwahardd y mae i Israel dorri un nôd yn eu cnawd tros y meirw. 4 Pa gig a geir ei fwytta. 23 Pa le y bwytteir y pethau cyssegredic. 27 Am y Lefiaid, ac am ddegwm.*

Gal.3, 26 1Bren.18, 28 PLANT * ydych chwi i'r Arglwydd eich
1 Cor. 6, 19 Duw, * nac ymnodwch, ac na osodwch
Ezec. 7, 13 foelni rhwng eich llygaid dros [un] marw.
*Lef. 19, 28 2 Canys * pobl * sanctaidd [ydwyt] ti i'r Ar-
*Pen. 7, 6 glwydd dy Dduw, a'r Arglwydd a'th ddewisodd
n Ex. 19, 5 di i fod yn bobl unic iddo ef: o'r holl bobloedd
Tit. 2, 14 y rhai [ydynt] ar wyneb y ddaiar.
Heb.9,10 Act. 10, 13 3 o Na fwytta ddim ffiaidd.
4 Dymma yr anifeiliaid y rhai a fwyttewch:
eidion, llwdn dafad, a llwdn gafr.
5 p Y carw, a'r iwrch, a'r tarw gwyllt, a'r bwch
gwyllt a'r unicorn, a'r ych gwyllt, a'r afr wyllt.
q Lef. 11, 6 q A phob anifail, yn hollti yr ewin, ac yn
fforchogi hollt y ddwy ewin, [ac] yn cnoi cil ym
mysc yr anifeiliaid, hwnnw a fwyttewch.

7 Ond hyn ni fwyttewch o'r rhai a gnoant y
cil, ac a holldant yr ewin yn fforchog: y camel
a'r scyfarnog, a'r gwningen, er bod y rhai hyn
yn cnoi eu cil, am nad ydynt yn fforchogi yr
ewin, aflan ydynt i chwi.
8 Yr hwch hefyd er ei bod yn fforchogi yr
ewin, ac heb [gnoi] cil, aflan yw i chwi: na fwyt-
tewch oi cig hwynt, ac na chyffyrddwch ai
byrgyn hwynt.
9 * Hyn a fwyttewch o'r hyn oll [sydd] yn y *Lef. 11, 9
dyfroedd: yr hyn oll [sydd] iddo ascell, a chenn,
a fwyttewch.
10 r A'r hyn oll nid [oes] iddo ascell, a chenn, r Adn. Lef. 11, 10
ni fwyttewch: aflan yw i chwi.
11 Pob aderyn glân a fwyttewch.
12 s Ac dymma y rhai ni fwyttewch o honynt; s Lef. 11, 13
yr eryr, a'r wydd-walch, a'r for-wennol.
13 t A'r bod, a'r barcut, a'r fwltur yn ei ryw. t Lef. 11, 14
14 A phob cig-fran yn ei rhyw.
15 A chiw'r estris, a'r fran nôs, a'r gôg, a'r
hebog yn ei ryw.
16 Aderyn y corph, a'r ddylluan, a'r gogfran,
17 A'r pelican, a'r biogen, a'r fulfran.
18 * A'r Ciconia, a'r grŷr yn ei ryw, a'r gorn-
chwigl, * a'r stlym.
19 A phob ymlusciad ascelloc sydd aflan i
chwi: na fwyttaer ef.
20 v Bwyttewch bob ehediad glân. v Lef. 11
21 w Na fwyttewch ddim burgyn, dod ef i'r
dieithr yr hwn [fydd] yn dy byrth: a bwyttaed
ef, neu gwerth di [ef] i'r dieithr, canys pobl
sanctaidd [ydwyt] i'r Arglwydd dy Dduw: * na
ferwa fynn yn llaeth ei fam.
22 x Gan ddegymmu degymma holl gynnyrch
dy hâd, [sef] ffrwyth dy faes bob blwyddyn.
23 y A bwytta ger bron yr Arglwydd dy Dduw
(yn y lle'r hwn a ddewiso efe i drigo oi enw ef
ynddo) ddegwm dy ŷd, dy wîn, a'th olew, a chynt-
afanedic dy warthec, a'th ddefaid, fel y dyscech
ofni'r Arglwydd dy Dduw'r † holl ddyddiau.
24 A phan fyddo y ffordd ry-hir i ti, fel nad
ellech ei ddwyn ef, am fod y lle yn mhell oddi
wrthit, 'r hwn a ddewiso'r Arglwydd dy Dduw
i osod ei enw ynddo, pan i'th fendithio yr
Arglwydd dy Dduw.
25 z Yna dod [ei werth] yn arian, a rhwym yr
arian yn dy law, a dos i'r lle'r hwn a ddewiso'r
Arglwydd dy Dduw.
26 a A dod yr arian am yr hyn oll a chwenycho
dy galon: am warthec, neu am ddefaid, neu am
win, neu am ddiod gref, neu am yr hyn oll a
ddymuno dy galon: a bwytta yno ger bron yr
Arglwydd dy Dduw, a llawenycha di, a'th
deulu.
27 b A'r Lefiad yr hwn [fyddo] yn dy byrth na
wrthod ef: am nad [oes] iddo [ran] rhan, nac
etifeddiaeth gyd a thi.

Pen.26, 12 28 * Ym mhen tair blynedd y dygi allan holl ddegwm dy gnwd y flwyddyn honno: a gâd yn dy byrth.

29 d Fel y dêl y Lefiad am nad oes iddo ran, nac etifeddiaeth gyd a thi, a'r dieithr, a'r ymddifad a'r weddw y rhai [ydynt] yn dy byrth di, ac y bwyttânt, ac y digoner hwynt: fel i'th fendithio 'r Arglwydd dy Dduw di ym mhob gwaith yr hwn a wnelech a'th law.

## PEN. XV.

*Blwyddyn y gollyngdod. 5 Duw yn bendithio y rhai a gadwant ei orchymynnion. 7 Cymmorth i'r tlawd. 12 Rhyddhâd gweision. 19 Yr Arglwydd piau y cyntaf anedic.*

YM MHEN * saith mlynedd gwna ollyngdod.

2 f Ac dymma wedd y gollyngdod: gollynged pob perchennog iw gymydog yn rhydd ei echwyn yr hyn a echwynnodd, na fynned [hynny] trachefn gan ei gymydog, neu ei frawd, canys cyhoeddwyd rhydd-did yr Arglwydd.

3 Ti a elli fynnu trachefn gan y dieithr [dy echwyn;] ond gollynged dy law yn rhydd yr hyn sydd i ti gyd a'th frawd.

4 g Megis na byddo o honot ti gardottyn, canys yr Arglwydd gan fendithio a'th fendithia di yn y tir yr hwn y mae'r Arglwydd dy Dduw yn ei roddi i ti yn etifeddiaeth iw orescyn.

5 Yn unic os gan wrando y gwrandewi ar lais yr Arglwydd dy Dduw, gan gadw [a] gwneuthur yr holl orchymynnion ymma y rhai yr ydwyfi yn eu gorchymyn i ti heddyw.

6 h Canys yr Arglwydd dy Dduw a'th fendithia megis ac y llefarodd wrthit, fel * y benthygiech i genhedloedd lawer, ac na fenthygiech di [ganddynt,] ti hefyd a arglwyddiaethi ar genhedloedd lawer, ac nid arglwyddiaethant hwy arnat ti.

7 i Os bydd yn dy fysc di un o'th frodyr yn dlawd o fewn un o'th byrth, yn dy dir yr hwn y mae 'r Arglwydd dy Dduw yn ei roddi it: na chaleda dy galon, ac na chaea dy law oddi wrth dy frawd tlawd.

8 j Onid gan agoryd * agor dy law iddo, a chan fenthygio benthygia ddigon [iw] angen ef, [sef] yr hyn fydd eisieu arno.

9 Gwilia arnat rhac bod yn dy galon ddim anuwiol i ddywedyd, Agos yw y seithfed flwyddyn [sef] blwyddyn y gollyngdod, a bod dy lygad yn ddrwg yn erbyn dy frawd tlawd, rhac rhoddi iddo, k a llefain o honaw ef ar yr Arglwydd rhagot, a bod pechod yn dy erbyn.

10 l Gan roddi dod iddo, ac na fydded drwg gan dy galon pan roddech iddo: canys o achos y peth hyn i'th fendithia'r Arglwydd dy Dduw dy di yn dy holl waith, ac yn yr hyn oll yr estynnech dy law arno.

11 * Canys ni dderfydd tlawd o ganol y tir, am hynny 'r ydwyfi yn gorchymyn i ti gan ddywedyd: Gan agoryd agor dy law i'th frawd, i'th anghenus, ac i'th dlawd yn dy dir.

12 * m Pan werther dy frawd yn Hebread neu yn Hebræes i ti, a'th wasanaethu chwe blynedd, y seithfed flwyddyn gollwng ef yn rhydd oddi wrthit.

13 A phan ollyngech ef yn rhydd oddi wrthit, na ollwng ef yn wâg.

14 n Gan lwytho llwytha ef o'th braidd, ac o'th yscubor, ac o'th wryf: o'r hyn i'th fendithio'r Arglwydd dy Dduw dod iddo.

15 o A chofia mai gwâs fuost yn nhir yr Aipht, a'th waredu o'r Arglwydd dy Dduw: am hynny'r ydwyf yn gorchymyn y peth hyn [i] ti heddyw.

16 p Ond os dywed wrthit Nid âf allan oddi wrthit, am iddo dy hoffi di, a'th dŷ, o herwydd bod yn dda arno ef gyd a thi:

17 Yna q cymmer fynawyd, a dod trwy ei glust ef ac yn y ddôr, a bydded yn wâs i ti byth, felly hefyd y gwnei i'th forwyn.

18 r Na fydded trwm genuit ei ollwng ef yn rhydd oddi wrthit, canys gwasanaethodd di werth dau gyflog gwenidog y chwe blynedd: a'r Arglwydd dy Dduw a'th fendithia yn yr hyn oll a wnelech.

19 s Pob cyntaf-anedic yr hwn a ênir o'th warthec, neu o'th ddefaid yn wryw a gyssegri di i'r Arglwydd dy Dduw: na weithia â chyntaf anedic dy ychen, ac na chneifia gyntaf-anedic dy ddefaid.

20 t Ger bron yr Arglwydd dy Dduw y bwyttei ef bob blwyddyn, yn y lle'r hwn a ddewiso yr Arglwydd, ti a'th deulu.

21 Ond * os bydd anaf arno, [os] cloff, neu ddall fydd, [neu] rhyw ddrwg anaf [arall,] na abertha ef i'r Arglwydd dy Dduw.

22 O fewn dy byrth y bwyttei ef, yr aflan a'r glân yng hyd [ai bwyttu,] megis yr iwrch, ac megis y carw.

23 u Etto na fwytta ei waed ef, tywallt hwnnw ar y ddaiar fel dwfr.

## PEN. XVI.

*1 Gwyliau y Pasc. 9 Y sulgwyn. 13 A'r pebyll. 18 Swyddogion. 21 Gwahardd gauddnwiaeth.*

CADW y * mis Abib, v a gwna Basc i'r Arglwydd dy Dduw: canys o fewn y mis Abib i'th ddug yr Arglwydd dy Dduw o'r Aipht ar hyd nôs.

2 w Abertha dithe yn Basc i'r Arglwydd dy Dduw ddefaid, a gwarthec yn y * lle'r hwn a ddewiso'r Arglwydd dy Dduw i drigo oi enw ef yno.

3 x Na fwytta sur-does gyd ag ef, saith niwrnod y bwyttei gyd ag ef fara croiw, [sef] bara cystudd: canys ar ffrwst y daethost allan o dir yr Aipht, fel y cofiech ddydd dy ddyfodiad allan o dir yr Aipht holl ddyddiau dy einioes.

4 y Ac na weler genit sur-does yn dy holl

derfynau saith niwrnod, ac nac arhoed tros nos
[ddim] o'r cig yr hwn a aberthech yn yr hwyr,
ar y dydd cyntaf hyd y boreu.
5 [Hefyd] ni elli aberthu y Pasc o fewn yr un
o'th byrth, y rhai y mae'r Arglwydd dy Dduw
yn eu rhoddi it.
zEx 12,6 6 [z] Onid yn y lle'r hwn a ddewiso'r Arglwydd
rCron 5, 14 dy Dduw i drigo oi enw ef ynddo'r aberthi y
Pasc yn yr hwyr, ar fachludiad yr haul, y pryd
y daethost allan o'r Aipht.
aEx 12,8, 9 7 [a] Yna y rhosti ac y bwyttei yn y lle'r hwn a
2Cron 35 15 ddewiso'r Arglwydd dy Dduw, a'r boreu y
Num 24, 3 dychweli, ac yr ei i'th babellau.
8 [b] Chwe diwrnod y bwyttei fara croiw, ac ar
bLef 23, 37 y seithfed dydd [y mae] uchel-wyl i'r Arglwydd
dy Dduw, ni chei wneuthur gwaith.
c Lef 23, 15 9 [c] Cyfrif it saith wythnos, pan ddechreuo y
Lef 23,10 crymmau ar yr ŷd y dechreui rifo saith wythnos.
dAct 2,1 10 [d] Yna y cedwi ŵyl yr wythnosau i'r Argl-
wydd dy Dduw, a'th offrwm gwirfodd'r hwn a
roddi, megis i'th fendithio yr Arglwydd dy Dduw.
*Ex 23, 15, 34 11 * A llawenycha ger bron yr Arglwydd dy
Pen 12,18 Adn 14 Dduw, ti a'th fab a'th ferch, a'th was, a'th for-
wyn, a'r Lefiad yr hwn [fydd] o fewn dy byrth:
a'r dieithr a'r ymddifad, a'r weddw, y rhai [fydd-
ant] yn dy fysc: yn y lle'r hwn a ddewiso yr
Arglwydd dy Dduw i drigo oi enw ef ynddo.
eLef 23, 17 12 [e] Cofia hefyd mai gwas fuost yn yr Aipht, a
Ex 5,1,3 chadw, a gwna y deddfau hyn.
Act 2,1 fLef 23, 34 13 [f] Cadw it ŵyl y pebyll saith niwrnod, wedi
Ex 32,16 it gasclu dy ŷd, a'th win.
gPhil 4,4 14 [g] A llawenycha yn dy ŵyl, ti, a'th fab, a'th
ferch, a'th was, a'th forwyn, a'r Lefiad, a'r dieithr,
a'r ymddifad, a'r weddw, y rhai [fyddant] o fewn
dy byrth.
15 Saith niwrnod y cedwi ŵyl i'r Arglwydd
dy Dduw yn y lle'r hwn a ddewiso yr Ar-
glwydd: canys yr Arglwydd dy Dduw a'th
fendithia yn dy holl gnwd, ac yn holl waith dy
ddwylo, am hynny bydd dithe lawen.
*Ex 23,14 a 34, 23 16 [h] * Tair gwaith yn y flwyddyn yr ymddeng-
hEx 23,14 a 34,22 ys pob gwryw [o] honot o flaen yr Arglwydd dy
Lef 23,2, 3 Dduw yn y lle'r hwn a ddewiso efe, [sef] ar
ŵyl y bara croiw, ac ar ŵyl yr wythnosau, ac
ar ŵyl y pebyll: ond nac ymddangosed neb o
flaen yr Arglwydd yn wâglaw.
17 Pob un yn ol rhodd ei law, yn ol bendith yr
Arglwydd dy Dduw'r hon a rydd efe i ti.
iPen 20,5 2Cron 19, 8 18 [i] Dôd it farn-wŷr, a blaenorion yn dy holl
byrth, y rhai y mae'r Arglwydd dy Dduw yn eu
Sal 82, 2 3 rhoddi it trwy dy lwythau: a barnant hwy y
Ioan 7, 24 bobl, [a] barn gyfiawn.
j1Sam 8,3 Lef 19,15 19 [j] Na ŵyra farn, [ac] na chydnebydd wy-
Diar 24, 23 nebau, na dderbyn wobr y chwaith: canys
Ex 23, 8 gwobr a ddalla lygaid y doethion, ac a ŵyra
eiriau y cyfiawn.
20 Cyfiawnder, cyfiawnder a ddilyni, fel y
byddech fyw; ac yr etifeddech y tir yr hwn y
mae'r Arglwydd dy Dduw yn ei roddi it.
21 [k] Na phlanna it lwyn [o] neb rhyw goed ger kBarn 3, 7
llaw allor yr Arglwydd dy Dduw yr hon a 1Bren 14 23
wnei it. a 16, 33
22 Ac na chyfod it golofn, hyn sydd gâs gan yr
Arglwydd dy Dduw.

## PEN. XVII.

*Ni cheir aberthu peth anafus. 2 Cospedigaeth y gau-addol-udd. 8 Pwy a gaiff farnu amrafaelion caled. 12 Cospedigaeth yr anufydd. 14 Dewis brenin; ei swydd.*

NAC [l] abertha i'r Arglwydd dy Dduw ŷch, lLef 22,
neu ddafad yr hwn y bydd arno anaf 22 Mal 1, 8
[neu] ddim gwrthyni: canys cas-beth yr Ar- 1Pedr 1, 19
glwydd dy Dduw [yw] hynny. Mal 1,13 Heb 9,14
2 [m] Pan gaffer yn dy blith di o fewn un o'th mGal 3,
byrth y rhai y mae'r Arglwydd dy Dduw yn Ezec 18, 26
eu rhoddi it ŵr neu wraig yr hwn a wnel ddryg- 2Bren 17, 16
ioni yng-olwg'r Arglwydd dy Dduw, gan dro- Esa 34,
seddu ei gyfammod ef, Ier 8,2
3 Ac a aiff, ac a wasanaetha dduwiau dieithr, Esa 2,
ac a ymgrymma iddynt, sef i'r haul, neu i'r lleu- Mat 13,
ad, neu i holl lu y nefoedd, yr hyn ni orchym-
ynnais.
4 [n] Pan ddangoser i ti, a chlywed o honot, yna nDiar 18, 13
cais yn dda, ac os [mewn] gwirionedd y peth
sydd siccr wneuthur y ffieidd dra hyn yn Israel:
5 [o] Yna dwg allan y gŵr hwnnw, neu'r wraig oGen. 17
honno (y rhai a wnaethant y peth drygionus Rhuf 1, Pen 13,
hyn) i'th byrth, sef y gŵr neu'r wraig: a llab- Lef 24,
yddia hwynt a meini fel y byddant feirw. 23
6 * Wrth destiolaeth dau o dystion, neu dri o *Num 35,30
dystion, y rhoddir i farwolaeth yr hyn a fyddo Pen 19, 15
marw, na rodder i farwolaeth wrth destiolaeth Mat 18, 16
un tyst. 2Cor 13,
7 [p] Llaw y tystion a fydd arno yn gyntaf i'w pPen 13,
farwolaethu ef, a llaw'r holl bobl wedi hynny: 1Cor 5, 13
a thi a dynni ymaith y drygionus o'th blith. Pen 19,
8 [q] Os bydd peth mewn barn yn guddiedic 19 a
oddi wrthit, rhwng gwaed a gwaed, rhwng hawl qGen 9, 26
a hawl, neu rhwng plâ a phlâ, [mewn] pethau Num 35,
amrafaelus o fewn dy byrth: yna cyfod, a dos i 16
fynu i'r lle'r hwn a ddewiso'r Arglwydd dy 1Bren 3, 16
Dduw. 1Cron 19, 10
9 [r] A dos at y Lefiadaidd offeiriaid, neu at y rAdn 12
barn-ŵr yr hwn fydd yn y dyddiau hynny: ac Mal 2, 7
ymofyn, a hwy a ddangosant i ti reol y gyfraith.
10 [s] A gwna ar ol rheol y gair yr hwn a ddang- sEx 18, 24
osant i ti o'r lle hwnnw, yr hwn a ddewiso yr Mat 23, 2, 3
Arglwydd: ac edrych am wneuthur yn ol yr
hyn oll a ddyscant i ti.
11 [t] Ar ol rheol y gyfraith yr hon a ddyscant tIos 1, 7
it, ac yn ol y farn yr hon a ddywedant i ti y Mal 2, 9
gwnei: na chilia o'r peth yr hwn a ddangosant i uEx 21, 14
ti, i'r tu dehau, nac i'r tu asswy. Mat 18,
12 [u] A'r gŵr yr hwn a wnêl mewn rhyfyg, heb 14 Pen 13,
wrando ar yr offeiriad yr hwn fydd yn sefyll yno Pen 18, 20

i wasanaethu yr Arglwydd dy Dduw, neu ar y
barn-wr: yna rhodder i farwolaeth y gwr hwn-
nw, a thynn ymmaith y drygioni o Israel.
13 A'r holl bobl a glywant, ac a ofnant: ac
ni ryfygant mwy.
y1Sam.8, 5,6,a 12,7 14 y Pan ddelech i'r tir yr hwn y mae'r Arg-
lwydd dy Dduw'n ei roddi i ti, ai orescyn, a thri-
go ynddo: os dywedi Gosodaf arnaf frenin megis
yr holl genhedloedd y rhai [ydynt] o'm hamgylch:
wEsa.33 15 w Gan osod, gosot arnat yn frenin yr hwn
1 1Sam.16, a ddewiso'r Arglwydd dy Dduw: o blith dy
1 Pen. 18, frodyr y gosodi arnat frenin, ni elli roddi arnat
15 wr dieithr, yr hwn nid yw frawd i ti.
Pen.1,33 x Salm. 16 x Yn unic nac amlhaed iddo feirch, ac na
20,7 Esa.31,1, ddychweled efe y bobl i'r Aipht i amlhau meirch
Ier.42,10 gan i'r Arglwydd ddywedyd wrthych, Na chwa-
negwch ddychwelyd ar hyd y ffordd hono mwy.
yMat.19 5 17 y Ac nac amlhaed iddo wragedd, ac na
1 Bren. wyred ei galon: ac nac amlhaed arian ac aur
11,4. Diar.30, iddo lawer.
8 zPen.31 18 z Eithr pan eisteddo ar deyrngader ei fren-
26. hiniaeth, yna scrifenned iddo goppi y gyfraith
hon mewn llyfr o flaen yr offeiriaid Lefiadaidd:
aIos.1,8, Sal.119, 19 a A byddęd gyd ag ef, a darllened arno
98. holl ddyddiau ei fywyd: fel y dysco ofni yr Ar-
glwydd ei Dduw, a chadw holl eiriau y gyf-
raith hon, a'r deddfau hyn, ai gwneuthur hwynt:
b Ios.1, 16,17 20 b Heb dderchafu ei galon uwchlaw ei fro-
Preg. 8, 23 dyr, ac heb gilio oddi wrth y gorchymyn i'r tu
dehau, nac i'r tu asswy: fel yr estynno ddyddiau
yn ei frenhiniaeth, efe ai feibion yng-hanol Israel.

## PEN. XVIII.

1 *Rhan y Lefiaid.* 9 *Bod yn rhaid gochelyd ffieidd arfer y Canaaneaid.* 15 *Duw yn addo prophwyd iddynt.* 20 *Y modd y cospir ac yr adwaenir y gau brophwyd.*

a Num. 18,20. Pen. 10, 9 NI bydd i'r offeiriaid Lefiadaidd [sef] i holl
lwyth Lefi ran * nac etifeddiaeth yng-hyd
ag Israel: c ebyrth tanllyd yr Arglwydd ai eti-
c 1 Cor. 9, 13 feddiaeth ef a fwyttânt hwy.
Num.26, 2 Am hynny etifeddiaeth ni bydd iddynt ym
1 Tim. 3, mhlith eu brodyr: yr Arglwydd yw eu heti-
Pen.10,9 feddiaeth, megis ac y dywedodd efe wrthynt.
Num.18, 3 A hyn fydd defod yr offeiriaid oddi wrth y
Num.18, bobl [sef] oddi wrth y rhai a aberthant aberth
Lef. 1. 9 [pwy un bynnac] ai eidion, ai dafad, rhodded i'r
1 Cor. 9, 13 offeiriad * yr ysgwyddoc, a'r ddwy ên, a'r botten.
d Num. 18,18 4 d Blaen-ffrwyth dy ŷd, dy wîn a'th olew, a
1 Ex. 22, 29 blaen-ffrwyth cnaif dy ddefaid a roddi iddo ef.
e 1 Cor.9, 11,13 5 e Canys dewisodd yr Arglwydd dy Dduw
Pen.10, ef o'th holl lwythau i sefyll [ac] i wasanaethu yn
enw'r Arglwydd, efe ai feibion yn dragywydd.
f Num.35 6 f A phan ddelo Lefiad o un o'th byrth di yn
Pen. 12, 5, a 16, 2 holl Israel lle y byddo efe yn ymdaith, a dyfod
yn ol holl ddymuniad ei galon, i'r lle'r hwn a
ddewiso yr Arglwydd.
g 1 Cron. 23, 1, 8 7 g Yna gwasanaethed efe yn enw'r Arglwydd
ei Dduw, megis ei holl frodyr y Lefiaid y rhai

ydynt yn sefyll yno ger bron yr Arglwydd.
8 Rhan am ran a fwyttânt: heb-law'r hyn a
werthe efe oddi wrth [ei] dadau.
9 Pan elech di i'r tir yr hwn y mae'r Argl-
wydd dy Dduw yn ei roddi it, na ddysc wneu-
thur yn ol ffieidd-dra y cenhedloedd hynny.
10 h Na chaffer ynot a wnelo iw fab, neu iw h Lef. 18, 21
ferch, fyned drwy'r tân [neu] arferu dewiniaeth, Mica5,11
planedydd na daroganwr, na hudol: Esa 2, 6 2Bren.21
11 Na * swyn-wr swynion, nac a geisio [wy- 6
bodaeth gan] gonsuriwr, neu frydiwr, nac a *Lef. 20, 27
ymofynno a'r meirw. 1Sam.28, 7
12 O herwydd ffieidd-dra [gan] yr Arglwydd
[yw] pawb a'r a wnelo hyn: ac o achos y ffieidd-
dra hyn y mae'r Arglwydd dy Dduw yn eu
gorescyn hwynt o'th flaen di.
13 i Bydd berffaith gyd â'r Arglwydd dy Dduw. iGen.6,9
14 j Canys y cenhedloedd hyn, y rhai'r ydwyt jAct. 14, 16
ti yn eu gorescyn a wrandawant ar blanedydd-
ion, ac ar ddewiniaid: am danat ti, nid felly y
caniattâodd yr Arglwydd dy Dduw i ti.
15 k * Yr Arglwydd dy Dduw a gyfyd i ti o'th kHeb. 5, 1
blith dy hun, o'th frodyr dy hun brophwyd * Act. 7, 37
megis finne: arno ef y gwrandewch. 1Tim. 2, 5
16 l Yn ôl yr hyn oll a geisiaist gan yr Arg- Ioan 1,18 Mat. 17, 5
lwydd dy Dduw yn Horeb yn nydd y gym- lPen.5, 2
manfa gan ddywedyd, * Ni allaf wrando ddim y * Ex. 19, 9
chwaneg ar lais yr Arglwydd fy Nuw, ac ni allaf
weled y tân mawr hwn mwyach rhac fy marw.
17 m A dywedodd yr Arglwydd wrthif, da y m Rhuf. 8, 15
dywedasant.
18 * Codaf brophwyd iddynt o fysc eu bro- *Ios.1,45 Act.3, 21
dyr fel tithe, a rhoddaf fyng-eiriau yn ei enau m Mat. 7, 5
ef: fel y llefaro efe wrthynt yr hyn oll a orchy- Adn. 15. Ioan 17,8
mynnwyf iddo. Ex. 4, 15
19 n A phwy bynnac ni wrandawo ar fyng- Ioan 12, 49.
eiriau y rhai a lefaro efe yn fy enw, myfi [ai] n Act. 3, 22
gofynnaf ganddo. Gen. 9, 5
20 o Y prophwyd hefyd, yr hwn a ryfyga le- Act 3, 23
faru yn fy enw air, yr hwn ni orchymynnais iddo o Ezec. 13, 6
lefaru, neu'r hwn a lefaro yn enw duwiau diei- Ier.27,15 Ier. 2, 8
thr: rhodder y prophwyd hwnnw i farwolaeth. Esa. 52, 14
21 Ac os dywedi yn dy galon, Pa fodd yr ad-
waenom y gair yr hwn ni lefarodd yr Arglwydd?
22 p Yr hyn a lefaro y prophwyd hwnnw yn pPen 13, 2
enw'r Arglwydd a'r gair heb fod, ac heb ddyfod, Ier. 28, 9
hwnnw yw'r gair yr hwn ni lefarodd yr Argl-
wydd: y prophwyd ai llefarodd mewn rhyfyg, Hab. 2, 3 Zec.1, 5, 6
nac ofna ef.

## PEN. XIX.

*Duw sy yn gorchymyn gosod trefydd i fod yn nawddfeudd.* 14 *Yn gwahardd symmud terfyn.* 15 *Ac yn rhoddi cyfraith am destiolaeth.*

PAN * dorro'r Arglwydd dy Dduw y cen- *Pen.12, 29
hedloedd ymmaith y rhai y mae'r Argl-
wydd dy Dduw yn rhoddi eu tir i ti: ai gores-
cyn o honot ti, a phresswylio yn eu dinasoedd,

ac yn eu tai,
*Ios. 20, 7 2 * Naillduа it dair dinas yng-hanol dy dir,
Num. 35, 6 yr hwn y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei
Ios. 20, 2 roddi it iw orescyn.
Pen. 41, 43, a4, 41 3 Parottoa y ffordd i ti, a thraiana derfyn dy
dir yr hwn a rydd yr Arglwydd dy Dduw yn e-
tifeddiaeth it: fel y byddo i bob llofrudd ffoi yno.
q Num. 35, 20 4 [q] Dymma gyfraith y llofrudd yr hwn a ffŷ
yno i fyw: yr hwn a darawo ei gymydog heb
wybod, ac yntef heb ei gasau ef o'r blaen,
r Num. 35, 12 5 [r] Yr hwn a êlo gyd ai gymydog i'r coed, i
gymmynu prennau, ac a estynno ei law ar fwy-
all i dorri y pren, a syrthio yr haiarn o'r menbr
a chyrhauddyd ei gymmydog fel y byddo farw:
efe a gaiff ffoi i un o'r dinasoedd hyn, fel y
byddo byw.
s Pen. 21, 22 Num. 35, 12 6 [s] * Rhac i ddialudd y gwaed ddilyn ar ôl y
llofrudd pan ddigio ei galon, ai oddiweddyd
am fod y ffordd yn hir ai daro ef yn farw, er
na bydde ynddo ef haeddedigaeth marwolaeth,
am nad oedd efe yn llidiog wrtho ef o'r blaen.
7 Am hynny'r ydwyf yn gorchymyn i ti gan
ddywedyd: Tair dinas a nailldui di i ti.
t Gen. 15, 7 8 [t] A phan helaetho'r Arglwydd dy Dduw dy
derfyn, fel y tyngodd wrth dy dadau, a rhoddi
i ti yr holl dir yr hwn a addawodd ei roddi
wrth dy dadau,
u Rhuf. 8, 3 9 [u] Pan gadwech y gorchymyn hwn oll gan
wneuthur yr hyn yr ydwyfi yn ei orchymyn it
heddyw: gan garu yr Arglwydd dy Dduw a
*Ios. 20, 7 rhodio yn ei ffyrdd ef yr holl ddyddiau: * yna
y chwanegi i ti dair dinas hefyd at y tair hyn.
10 Fel na ollynger gwaed gwirion o fewn dy
dir, yr hwn y mae'r Arglwydd dy Dduw yn
ei roddi it yn etifeddiaeth: ac na byddo gwaed
i'th erbyn.
v Adn. 6. 21 11 [v] Ond pan fyddo gwr yn câsau ei gymyd-
og, ac yn cynllwyn iddo a chodi yn ei erbyn,
ai ddieneidio fel y byddo farw, a ffoi i un o'r
w Ex. 21, 14 dinasoedd hyn:
Diar. 28, 17 12 [w] Yna anfoned henuriaid ei ddinas ef, a
Num. 15, 30, 31. chymmerant ef oddi yno, a rhoddant ef yn llaw
dialudd y gwaed, fel y byddo farw.
x Bren. 2, 31 13 [x] Nac arbeded dy lygaid ef, ond tynu ym-
Num. 35, 33 maith [affaith] gwaed gwirion o Israel, fel y
y Iob 24, 2 byddo daioni it.
Sal. 78. 54 14 [y] Na symmut derfyn dy gymydog, yr hwn
Num. 26, 53 a derfynodd y rhai a fuant o'r blaen: o fewn dy
Diar. 22, 28 etifeddiaeth yr hon a feddienni yn y tir yr hwn
Zec. 2, 12 y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei roddi i ti
*Mat. 18, 16 iw orescyn.
Ioan. 8, 17 15 Na choded * un tŷst yn erbyn neb, am
*2Cor. 13, 1. ddim anwiredd, neu ddim pechod, o'r holl
Heb. 10, 28. bechodau y rhai a becho efe: wrth destiolaeth
Pen. 17, 6 dau o dystion, neu wrth destiolaeth tri o dyst-
z Ex. 23, 1. ion y bydd safadwy [pob] gair.
16 [z] Pan godo gau-dyst yn erbyn neb, gan
destiolaethu bai yn ei erbyn ef,
17 [a] Yna safed y ddau ddyn y rhai [y mae'r] a Adn. 12
amrafael rhyngddynt ger bron yr Arglwydd, o Pen. 17, 18
flaen yr offeiriaid a'r barn-wyr y rhai a fyddant Pen. 17, 9
yn y dyddiau hynny.
18 [b] Ac ymofynned y barn-wŷr yn dda, ac os b Act. 25, 20
y tŷst [fydd] tŷst ffals, [ac] a destiolaetha ffals-
ter yn erbyn ei frawd;
19 * Yna [c] gwnewch iddo fel yr amcanodd *Diar. 19, 5
wneuthur i'w frawd, a thynn ymaith y dryg- c Pen. 17, 7
ionus o'th fysc.
20 [d] A'r lleill a glywant, ac a ofnant, ac ni d Pen. 17, 13
chwanegant wneuthur mwy yn ol y peth dryg- 11, a 17, 12, 13
ionus hwn yn dy blith.
21 [e] Ac nac arbeded dy lygad: [bydded] eni- e Num.
oes am enioes, llygad am lygad, dant am ddant, 35, 31 *Ex. 21,
llaw am law, troed am droed. 23

## PEN. XX.

Laga. 4, 13 Lef. 24, 17 Mat. 5, 38

*Araith yr offeiriaid a'r swyddogion wrth y bobl pan elent i ryfel. 10 Bod yn rhaid cynnig heddwch yn gyntaf i bawb ond i bobl Canaan. 19 Gwahardd torri mewn rhyfel goed ffrwythlon.*

PAN [f] elech i ryfel yn erbyn dy elynnion, f Pen. 9,
a gweled meirch, a cherbydau, [a] phobl 24 a 7, 1
fwy na thi, nac ofna rhacddynt: o herwydd yr 2Cron. 13, 12 a 32,
Arglwydd dy Dduw fydd gyd a thi, yr hwn 8
a'th ddug di i fynu o dir yr Aipht.
2 [g] A bydded, pan nessaoch i'r rhyfel: yna g Num.
ddyfod o'r offeiriad, a llefaru wrth y bobl, 10, 2
3 A dywedyd wrthynt, Clyw Israel, yr yd-
ych chwi yn nessau heddyw i'r rhyfel yn erbyn
eich gelynion: na * feddalhaed eich calon, nac *Dat.
ofnwch, na synnwch, ac na ddychryuwch 28, 7
rhacddynt.
4 Canys yr Arglwydd eich Duw sydd yn
myned gyd a chwi i ryfela a'ch gelynion tros-
och chwi: [ac] i'ch achub.
5 [h] Yna y llywawdwŷr a lefarant wrth y h Pen. 16,
bobl gan ddywedyd, Pa ŵr [sydd] yr hwn a 8 Neh. 12,
adeiladodd dŷ newydd, ac nis cyssegrodd ef, 27 2Sam. 11,
eled a dychweled i'w dŷ rhac ei farw mewn 35
rhyfel, ac i ŵr arall ei gyssegru ef. Act. 28, 22
6 A pha ŵr [sydd] yr hwn a blannodd win- 2Tim. 2, 6
llan, ac nis mwynhaodd hi, eled a dychweled Iac. 18,
iw dŷ rhac ei farw mewn rhyfel, ac i ŵr arall 18 1 Tim. 6, 12
ei mwynhau.
7 [i] A pha ŵr bynnac a * ymgredodd â gwraig, i Pen. 24,
ac ni phriododd hi, eled, a dychweled iw dŷ 5
rhac ei farw mewn rhyfel, ac i ŵr arall ei
phriodi.
8 Y llywawdwŷr hefyd a chwanegant lefaru
wrth y bobl, ac a ddywedant: * Pa ŵr bynnac *Barn. 7,
[sydd] ofnus, a meddal galon, eled a dych- 3
weled iw dŷ fel na lwfrhao efe galon ei frawd,
megis ei galon yntef.
9 A bydded pan ddarffo i'r llywiawdwŷr
lefaru wrth y bobl: yna osod o honynt dywy-
sogion y lluoedd, yn ben ar y bobl.

10 Pan nessaoch di at ddinas i ryfela yn ei
Num. herbyn, * yna galw arni am heddwch.
21, 22 Pen 2 26 11 j A bydded os heddwch a ettyb hi i ti, ac
j Ex. 1, 11 agoryd it: yna bydded i'r holl bobl y rhai a
1 Bren. 9, 21 geffir ynddi fod i ti dan deyrnged, a'th was-
anaethu.
k Sal. 1:0 12 k Ac oni heddycha hi a thi, ond gwneuthur
rhyfel a thi: yna gwarche di arni hi.
l Sal. 44, 3, 4 13 l Pan roddo'r Arglwydd Dduw hi yn dy
a 78, 38 law di; yna taro ei holl wrywaid â min y
cleddyf.
m Ios. 6, 21 14 m Yn unic y benywaid, a'r plant, * a'r an-
Dat. 19, 18 ifeiliaid, a phob dim a'r a fyddo yn y ddinas
Ios. 22, 8 [sef] ei holl yspail a yspeili i ti: a thi a fwyn-
Luc 11, 22 hei yspail dy elynion, yr hwn a rydd yr Ar-
* Ios. 8, 2 glwydd dy Dduw i ti:
15 Felly y gwnei i'r holl ddinasoedd pell
iawn oddi wrthit: y rhai nid [ydynt] o ddinas-
oedd y cenhedloedd hynn.
n Pen. 7, 1, 2 16 n Ond o ddinasoedd y bobloedd hynn y
Ios. 11, 14 rhai mae'r Arglwydd dy Dduw yn eu rhoddi
it yn etifeddiaeth na chadw un enaid yn fyw:
o Num 21 17 o Ond gan ddifrodi difroda hwynt [sef] yr
Hethiaid, a'r Amoriaid, y Canaaneaid, a'r Phe-
riziaid, yr Hefiaid, a'r Iebusiaid, megis y gor-
chymynnodd yr Arglwydd dy Dduw i ti.
p Barn. 3, 3 18 p Fel na ddyscant i chwi wneuthur ar ol
eu holl ffiaidd-dra hwynt y rhai a wnaethant
iw duwiau hwynt, a phechu o honoch yn er
byn yr Arglwydd eich Duw:
q 2 Bren. 8, 31 19 q Pan warchaech di ar dref lawer o ddydd-
iau, gan ryfela yn ei herbyn hi i'w hennill, na
ddifetha ei choed gan daro bwyall arnynt hwy,
canys o honynt y bwyttei, na thorr dithe hwynt
i fyned o'th flaen mewn gwarch-glawdd, o her-
wydd [ymborth] dyn [yw] pren y maes.
r Math. 3, 16 20 r Er hynny y pren yr hwn a wyddost nad
Luc 13, 9 pren ymborth yw, hwnnw a ddifethi ac a dorri,
ac a adailedi warch-glawdd yn erbyn y ddi-
nas, yr hon sydd yn gwneuthur rhyfel a thi,
hyd oni ddarostyngech hi.

## PEN. XXI

*Am lofryddiaeth heb wybod pwy ai gwnaeth. 11 Am y fenyw a ddalier mewn rhyfel. 15 Ni cheir newidio braint y cyntaf 18 Cospedigaeth mab anufydd*

Sal 9, 12 a 5, 6 PAN s geffir [un] wedi ei ladd o fewn y
a 44, 3, 4 tir, yr hwn y mae'r Arglwydd dy Dduw
Ithuf. 6, 3 yn ei roddi i ti iw etifeddu, yn farw yn y maes
heb wybod pwy ai lladdodd:
Pen 19, 8 2 t Yna aed dy henuriaid, a'th farn-wŷr allan
Ithuf 13, 4 a mesurant hyd y dinasoedd y rhai [ydynt] o
Num 19, amgylch i'r lladdedig.
3 A bydded i'r ddinas nesaf at y lladdedig
gymmeryd o henuriaid y ddinas honno anner
[o'r] gwartheg yr hon ni weithiwyd a hi, [a] ni
thynnodd dan iau.
4 A dyged henuriaid y ddinas honno'r anner
i ddyffryn garw, yr hwn ni lafuriwyd, ac ni
hauwyd ynddo: ac yno y tor-fynyglant yr an-
ner yn y dyffryn.
5 u A nessaed yr offeiriaid meibion Lefi. (o u Num 6
herwydd yr Arglwydd dy Dduw ai etholodd 23
hwynt i weini iddo ef, ac i fendigo yn enw'r
Arglwydd: ac wrth eu barn hwynt, y derfydd
pob ymryson, a phob pla.)
6 v A holl henuriaid y ddinas honno, y rhai a v Barn 8, 14
ddeuant at y lladdedig a olchant eu dwylo Sal 26, 6
uwch benn yr anner a dorr-fynyglwyd yn y Math. 27 24
dyffryn.
7 w Yna'r attebant, ac y dywedant, Ni oll- w Iob 3, 2
yngodd ein dwylo ni y gwaed hwn: ac nis gwel-
odd ein llygaid.
8 x Trugarhâ wrth bobl Israel y rhai a war- x Ioan 1, 14
edaist O Arglwydd, ac na ddyro waed gwirion
ym mysc dy bobl Israel: a maddeuir y gwaed
iddynt hwy.
9 y Felly y tynni ymaith [affaith] y gwaed y 2 Bren
gwirion o'th fysc, os ti a wnei'r iniawnder yng- 12, 2
olwg yr Arglwydd.
10 z Pan elech i ryfel yn erbyn dy elynion, a z Num.
rhoddi o'r Arglwydd dy Dduw hwynt yn dy law 21, 1
di: a chaeth-gludo o honot gaeth-glud o honynt,
11 a A gweled o honot yn y gaeth-glud wraig a Gen 34,
brŷd-weddol, a'th fod yn fodlon iddi, ai chym- 8
meryd it yn wraig:
12 b Yna dwg hi i fewn dy dŷ: ac eillied hi ei b 1 Cor
phen, a thorred ei hewinedd. 11, 6
13 c A diosced ddillad ei chaethiwed oddi am c Sal 45,
deni a thriged yn dy dŷ di, ac ŵyled [am] ei 10 Barn 15,
thâd, ai mam fis o ddyddiau: ac wedi hynny yr 1
ei di atti, ac y byddi ŵr iddi, a hithe fydd
gwraig i ti.
14 d Ac oni byddi foddlon iddi, yna gollwng d Math.
hi yn ol ei hewyllys ei hun, a chan werthu na 19, 8 Pen 24, 7
wertha hi er arian: na chais elw o honi, am i Gen 34, 2
ti ei darostwng hi. Pen. 22, 1 24
15 e Pan fyddo i ŵr ddwy wragedd, un yn gu, e Gen. 2, 22 a 4, 19
ac un yn gâs, a phlanta o'r gu a'r gâs feibion Mal 2. 15
iddo ef: a bod y mab cyntaf-anedic o'r [un] gâs. Gen. 29, 31
16 f Yna bydded yn y dydd y cynhyscaeddo f 1 Cron. 5, 1, 2
efe ei feibion y rhai fyddant iddo, na ddichon
efe wneuthur yn gyntaf-anedic fab y gu o flaen
mab y gasedic, yr hwn sydd gyntaf-anedic.
17 g Ond mab y gâs yr hwn sydd gyntaf- g Gen 49
anedig a gydnebydd efe, gan roddi iddo ef y 3, a 27, 33
denparth o'r hyn oll ar a gaffer yn eiddo ef: o Ex. 4, 2 Heb 12, 23.
achos hwn yw dechreuad ei nerth ef, iddo [y 1 Pedr 1, 4.
bydd] braint yr anedigaeth gyntaf.
18 h Ond o bydd i ŵr fab cyndyn, ac anufydd h Diar 1, 9
heb iddo wrando a'r lais ei dâd, nac ar lais ei Lef. 18, 23
fam: a phan geryddant ef ni wrendu arnynt, Pen 22, 18
19 i Yna ei dâd ai fam a ymaflant ynddo. ac i Pen 25, 3
ai dygant at henuriaid ei ddinas ef, ac i borth ei
fang fan.

j Diar. 23, 20 — 20 j A dywedant wrth henuriaid ei ddinas ef,
Ein mab hwn sydd gyndyn, ac anufydd hebiddo
wrando ar ein llais, glŵth a meddwyn [yw efe.]
k Diar. 18, 7. Pen 13, 11, a 17, 13 — 21 k Yna holl ddynion ei ddinas ai llabydd-
iant ef â meini fel y byddo farw; felly y deleu
di y drygioni o'th fysc di: a holl Israel a glyw-
ant, ac a ofnant.
l Pen 19, 6. Ios. 8. 29. Luc 23, 33 — 22 l Ac o bydd mewn gŵr bechod [yn haeddu]
barnedigaeth angau, ai farwolaethu: yna y cro-
gi di ef wrth bren.
m Ioan 19, 38 — 23 m Na thriged ei gelen tros nos wrth y pren,
2 Cor. 5, 21. * Gal. 3, 13 — [ond] gan gladdu ti ai cleddi ef o fewn y dydd
hwnnw: o herwydd * melldith Dduw [fydd i'r
hwn] a grogir: na haloga gan hynny dy dir, yr
hwn [y mae] 'r Arglwydd dy Dduw yn ei
roddi it yn etifeddiaeth.

## PEN. XXII.

*Yr ymgeledd a ddylem ni ei wneuthur i ddâ ein cymydogion. 5 Ni chaiff gwryw wisco dillad benyw: na benyw ddillad gwryw. 22 Cospedigaeth am odineb.*

* Ex. 23, 4. n Ezec. 34, 4. 1 Pedr. 2, 25 — NI chei weled * eidion dy frawd, n neu ei
ddafad yn cyfeiliorni, ac ymguddio oddi-
wrthynt: gan ddychwelyd dychwel hwynt i'th
Lef. 20, 9. 1 Thes. 4, 7 — frawd.
o Barn. 9, 1. Gen. 2, 9 — 2 o Ac oni [bydd] dy frawd yn gyfagos attat,
neu oni adwaenost ef: yna dwg hwnnw i fewn
dy dŷ, a bydded gyd a thi, hyd pan ymofynno
dy frawd am dano, yna dyro ef yn ei ol iddo ef.
3 Ac felly y gwnei iw assyn ef, ac felly y
gwnei iw ddillad ef, ac felly y gwnei i bob coll-
beth i'th frawd, yr hwn a gyll oddiwrtho ef, a
thithe yn ei gael: ni elli ymguddio.
p Ex. 23, 5. Mat. 5, 44 — 4 p Ni chei weled assyn dy frawd, neu ei ŷch
yn gorwedd ar y ffordd, ac ymguddio oddi-
wrthynt, [onid] gan godi cyfot gyd ag ef.
q 1 Cor. 11, 5, 4. a 14, 33. Sal. 132, 9 — 5 q Na fydded dilledyn gŵr am wraig, ac na
wisced gŵr wisc gwraig: o herwydd ffiaidd gan
yr Arglwydd dy Dduw bawb a'r a wnêl hyn.
r Lef. 22, 28 — 6 r Pan ddamweinio nyth aderyn i'th olwg
ar dy ffordd mewn un pren, neu ar y ddaiar a
chywion, neu ag wyau [ynddo,] a'r fam yn eis-
tedd ar y cywion, neu ar yr ŵyau: na chym-
s Hos. 10, 14. Gen. 32, 11 — mer y fam gyd a'r cywion.
7 s Gan ollwng ti a ollyngi y fam, a'r cywion
a gymmeri i ti: fel y byddo daioni it, ac yr
t Mat. 10, 27. Act. 10, 9 — estynnech [dy] ddyddiau.
u Lef. 19, 19. Ex. 22, 20. v Pen. 25, 4. Luc 9, 62 — 8 t Pan adailadech dŷ newydd, yna y gwnei
di ganllawiau [o amgylch] i'th nenn, fel na oso-
dech waed yn dy dŷ, pan syrthio neb o honaw.
9 u Na haua yn dy winllan amryw [hâd:]
2 Cor. 6, 14 — rhac it halogi cynnyrch yr hâd yr hwn a hauech,
Lef. 19, 19 — a chnwd y winllan.
w Datg. 19, 8. Rhuf. 3, 22 — 10 v Nac ardd ag ŷch, ac ag assyn yng hyd.
11 Na * wisc w ddilledyn o amryw ddefnydd
Gal. 2, 16 — [megis o] wlan, a llin yng-hyd.
* Num. 15, 38. Mat. 23, 5 — 12 * Plethau a weithi it ar bedwar cwrr dy
wisc, yr hon yr ymwiscech ynddi.

13 x O chymmer gŵr wraig, ac wedi myned — x Mat. 1, 18
atti ei chasau:
14 y A gosod yn ei herbyn anair, a rhoddi all-
an enw drwg iddi, a dywedyd, Y wraig hon a
gymmerais, ac a nesseais atti, ac ni chefais
ynddi [arwyddion] morwyndod.
15 Yna cymmered tâd y llangces, ai mam:
a dygant [arwyddion] morwyndod y llangces,
at henuriaid y ddinas i'r porth.
16 A dyweded tâd y llangces wrth yr henur-
iaid, fy merch a roddais i'r gwr hwn yn wraig:
ai chasau y mae efe.
17 Ac wele, efe a osododd anair, gan ddy-
wedyd, Ni chefais yn dy ferch [arwyddion]
morwyndod, ac fel dymma [arwyddion] mor-
wyndod fy merch: yna lledant y dilledyn yng-
wydd henuriaid y ddinas.
18 Yna henuriaid y ddinas honno, a gymmer-
ant y gŵr, ac a'i cospant ef.
19 z Ac ai dirwyant ef [mewn] cant [sicl] o — z Gen.
arian, ac ai rhoddant hwynt i dad y llangces, o
achos iddo ddwyn henw drwg ar y forwyn [o]
Israel: a bydded hi yn wraig iddo, [ac] ni ddi-
chon ei gyrru ymmaith [yn] ei holl ddyddiau.
20 a Ond os gwir fydd y peth hwnnw, [sef] — a Pe. 17, 4
na chaffwyd [arwyddion] morwyndod yn y
llangces:
21 Yna dygant y llangces at ddrws tŷ ei — b Lef.
thad, a dynion ei dinas ai llabyddiant â meini
oni byddo hi farw: am iddi wneuthur ffolineb
yn Israel, gan butteinio yn nhŷ ei thad, a thi a
ddeleu y drygioni o'th fysc.
22 O * cheffir gŵr yn gorwedd gyd a gwraig — * Lef.
briodol [â] gŵr, byddant feirw ill dau [sef] y gŵr
yr hwn a orweddodd gyd a'r wraig, a'r wraig
[hefyd:] felly y deleu y drygioni o Israel.
23 c O bydd llangces [o] forwyn wedi ei dy- — c Mat.
weddio i ŵr, a chael o ŵr hi mewn dinas, a
gorwedd gyd a hi:
24 d Yna y dygwch hwynt ill dau i borth y — d Ge.
ddinas honno, ac ai llabyddiwch hwynt â meini
fel y byddant feirw: y llangces oblegit na
waeddodd, [a hithe] yn y ddinas, ac yntef y
gŵr o herwydd iddo ef ddarostwng gwraig ei
gymydog: felly ti a ddeleu ymaith y drygioni
o'th fysc.
25 e Ond os mewn maes y cafodd y gŵr y
llangces (wedi ei dyweddio) ai threisio o'r gŵr,
a gorwedd gyd a hi: yna bydded farw y gŵr
yr hwn a orweddodd gyd a hi yn unic.
26 Ond i'r llangces ni chei wneuthur dim,
nid [oes] yn y llangces bechod [yn heuddu]
marwolaeth, o herwydd megis y cyfyd gŵr yn
erbyn ei gymydog, ai ddieneidio ef, yr un modd
[y mae] y peth hyn.
27 f Oblegit yn y maes y cafodd efe hi: — f 1 Cor.
gwaeddodd y llangces [yr hon sydd] wedi ei

dyweddio, ac nid [oedd] achubudd iddi.
Ex. 22, 28 *O chaiff gwr langces o forwyn yr hon
[sydd] heb ei dyweddio, ai dal hi, a gorwedd
gyda hi; ai dala hwynt;
Adn.19 29 *Yna y rhydd y gwr a orweddodd gyda hi
i dad y llangces ddec a deugain [dryll] o arian:
ac iddo y bydd yn lle gwraig, am iddo ei dar-
ostwng hi, ni ddichon efe ei gyrru hi ymmaith
[yn] ei holl ddyddiau.
30 [h] Na chymmered neb wraig ei dad: ac na
ddinoethed odre ei dad.

## PEN. XXIII.

*1 Y rhai ni chaent swyddau. 9 Am bechod ac aflendid. 15 Am was ar encil. 17 Am butteindra. 19 Am addunedau. 24 Rhydd did ar rawn win ac ŷd gwr arall.*

NA ddeued efnych, neu ddispadd i gynnull-
eidfa'r Arglwydd.
2 [i] Na ddeued basterdyn i gynnulleidfa'r Ar-
glwydd: y ddecfed genhedlaeth iddo hefyd ni
chaiff ddyfod i gynnulleidfa'r Arglwydd.
3 Na ddeled * Ammoniad, na Moabiad i gyn-
nulleidfa'r Arglwydd: y ddecfed genhedlaeth
hefyd o honynt na ddeued i gynnulleidfa'r Ar-
glwydd yn dragywydd:
4 [j] O blegit ni chyfarfuant chwi â bara, ac â
dwfr yn y ffordd wrth eich dyfod o'r Aipht: ac
* o achos cyflogi i'th erbyn Balaam fab Beor o
Pethor [ym] Mesopotamia i'th felldithio di.
5 Etto'r Arglwydd dy Dduw ni fynnodd
wrando ar Balaam, onid trôdd yr Arglwydd dy
Dduw y felldith yn fendith it: canys hoffodd yr
Arglwydd dy Dduw dydi.
6 [k] Na chais eu heddwch hwynt, nai daioni
hwynt dy holl ddyddiau byth.
7 [l] Na ffieiddia Edomiad canys dy frawd yw:
na ffieiddia Aiphtiad, o herwydd dieithr fuost
yn ei wlad ef.
8 [m] Deued o honynt i gynnulleidfa'r Arglwydd,
y drydedd genhedlaeth o'r meibion, y rhai a
genhedlir iddynt.
9 [n] Pan elech allan [o'r] gwerssyll yn erbyn dy
elynion, yna ymgadw rhac pob peth drwg.
10 [o] O bydd un o honot yr hwn ni fyddo lân
oddi wrth ddamwain nos: eled allan o'r gwers-
syll, na ddeued o fewn y gwerssyll.
11 [p] Ac ym min yr hwyr ymolched mewn
dwfr: yna wedi machludo yr haul deued i fewn
y gwerssyll.
12 A bydded lle i ti o'r tu allan i'r gwerssyll:
ac yno yr ei di allan.
13 [q] A bydded gennit raw ym mysc dy arfau,
a bydded pan eisteddech allan gloddio o honot â
hi, yno tro di a gorchguddia dy dom.
14 [r] O herwydd bod yr Arglwydd dy Dduw
yn rhodio ym mhlith dy werssyllau i'th waredu,
ac i roddi dy elynion o'th flaen di, am hynny
bydded dy werssyllau yn sanctaidd: fel na welo
ynot ti ddim brynti, a throi oddi wrthit.
15 [s] Na ddyro at ei feistr wâs yr hwn a ddiang- s Gal. 3,
odd attat oddi wrth ei feistr. 28
16 [t] Gyd a thi y trig yn dy fysc, yn y fan yr Rhuf. 6,
hon a ddewiso, yn un o'th byrth di, lle byddo 17
da ganddo: [ac] na chystuddia ef. t Ex. 22, 21
17 [u] Na fydded puttain o ferched Israel: ac u Pen. 22,
na fydded puttein-wr o feibion Israel. 9
18 [v] Na ddwg wobr puttain, na gwerth ci [i] Gen. 19, 5
dŷ'r Arglwydd dy Dduw mewn un adduned: 2 Bren. 23, 6
canys y maent ill dau yn ffiaidd gan yr Arglwydd v Ezec. 16, 33
dy Dduw di. Esa 61, 8
19 * Na chymmer log gan dy frawd [sef] llog Mat. 7, 6
arian, llog bwyd, [na] llog dim oll a'r a loger. Dat. 22, 15
20 [w] Gan estron y cymmeri log, ond na chym- Lef. 19, 3
mer log gan dy frawd: fel y bendithio yr Ar- 13
glwydd dy Dduw di ym mhob peth y rhoddech Mal 1, 6, 7
dy law arno, yn y tir yr hwn yr ydwyt yn my- * Ex. 22, 25
ned iddo iw orescyn. Lef. 25, 36
21 [x] Pan addunedech adduned i'r Arglwydd w Mat. 5, 44
dy Dduw nac oeda ei thalu: canys yr Arglwydd Luc 6, 34
dy Dduw gan ofyn ai gofyn gennit, yna y bydde x Lef. 27,
yn bechod ynot. 1
22 [y] Ond os peidi ac addunedu ni bydd pech- Act 5, 3, 3
od ynot. Preg 5, 4
23 [z] Cadw, a gwna yr hyn a ddaeth allan o'th y Act 5, 4
wefusau, megis yr addunedaist i'r Arglwydd dy Preg 5, 5
Dduw offrwm gwirfodd yr hwn a draethaist z Ier. 44, 25
o'th enau. Lef. 7, 16
24 [a] Pan ddelech i winllan dy gymydog, yna Preg. 5, 6
bwytta o rawn-win dy wala wrth dy feddwl, a 1 Cor. 9, 7
ond na ddod i'th lestr [yr un.]
25 Pan ddelech i [faes o] ŷd dy gymydog, yna* * Mat. 12, 1
y cei dynnu y twyssennau â'th law: ond ni chei Marc 2, 23
osod crymman ar ŷd dy gymydog. 2 Cor. 16, 14

## PEN. XXIV.

*1 Am lythyr yscar. 5 Rhydd did y gwr newydd briodi. 6 Gwystl. 14 Talu cyflog. 16 Ac iniondeb barn.*

PAN [b] gymmero gŵr wraig ai phriodi: yna
bydded oni chaiff hi ffafor yn ei olwg ef (o
achos iddo gael peth gwaradwyddus ynddi) scri- b Pen. 21,
fennu o honaw ytef iddi [c] lythyr yscar, ai roddi 13
yn ei llaw hi, ai gollwng ymmaith oi dŷ. c Mat. 19, 8, 9
2 [d] Pan elo hi allan oi dŷ ef, a myned ym- d Pen. 22, 23
maith, a bod yn eiddo gwr arall; Ier. 3, 1
3 Os ei gŵr diwethaf ai casâ hi, ac a scrifen-
na lythyr yscar iddi, ac ai rhydd yn ei llaw hi,
ac ai gollwng hi oi dŷ: neu os bydd farw y gŵr
diwethaf, yr hwn ai cymmerodd hi yn wraig iddo;
4 [e] Ni ddichon ei phriod cyntaf, yr hwn ai e Mal. 2,
gollyngodd hi ymmaith ddychwelyd iw chym- 14
meryd hi i fod yn wraig iddo, wedi peri iddi ym-
halogi, canys ffieidd-dra [yw] hyn o flaen yr Ar-

* Pen. XXIV, adn. 4.] "Ymhalogi." Nid gorchymyn, ond dioddefiad [illegible] cas gan Dduw, niweidiol i ddyn, a gwaharddedig gan Grist, Mal. ii, 15. Ier. iii, 1. Mat. v, 32. a xix, 8, 9.

f Ios. 22, glwydd: ac na wna'i'r wlâd bechu, yr hon a
17 Ier. 3,18 rydd yr Arglwydd dy Dduw i ti yn etifeddiaeth.
g Pen. 20, 5 g Pan gymmero gŵr wraig newydd nac eled
7 efe i rhyfel, ac na rodder gofal dim arno: caiff
fod gartref yn rhydd un flwyddyn, i lawenhau
h Diar. 5, 18 h ei wraig yr hon a gymmerodd.
i Ex. 11,5 6 i Na chymmered [neb] faen issaf nac uchaf
Ier. 25,10 i felin ar wystl: canys y mae y cyfryw un yn
llygru einioes.
j Ex. 21.16 7 j Pan geffir gŵr yn lledratta un oi frodyr, o
Pen. 21, 14 feibion Israel, ac yn ymelwa arno ef, neu yn ei
Dat. 18, 13 werthu, yna lladder y lleidr hwnnw, a thyn di
ymmaith y drygioni o'th fysc.
k 2 Cron. 26, 20 8 k Ymochel * ym mhlâ y gwahan-glwyf gan
* Lef. 13, 8 ddyfal gadw, a chan wneuthur yn ol yr hyn oll
a'r a ddyscodd y Lefiadaidd offeiriaid i chwi:
edrychwch am wneuthur megis y gorchymyn-
nais wrthynt hwy.
l Luc 17, 32 9 l Cofia yr hyn a wnaeth yr Arglwydd dy
1 Cor. 10, 6 Dduw di i * Miriam ar y ffordd pan ddaethoch
* Num. 12, 10 allan o'r Aipht.
10 Pan fenthygiech i'th gymydog fenthig dim,
na ddos iw dŷ ef i gymmeryd ei wystl ef.
11 Allan y sefi, a dyged y gŵr yr hwn y ben-
thygiaist iddo y gwystl allan attat ti.
12 Ac os gŵr tlawd fydd efe, na chwsc ai
wystl [gyd a thi.]
m Ex. 22, 26 13 m Gan ddadroddi dadrodd ei wystl iddo
2 Tim. 1, 18 pan fachludo yr haul, fel y gorweddo yn ei wisc,
2 Cor. 9, 15 ac i'th fendithio di: a bydd [hyn] i ti yn gyfiawn-
der o flaen yr Arglwydd dy Dduw.
n 25, 9 14 n Na orthrymma weinidog tlawd, ac ang-
Marc 10, 19 henus, o'th frodyr, neu o'th ddieithr-ddyn yr
hwn [fydd] yn dy dir o fewn dy byrth di.
Lef. 19, 13 15 * Yn ei ddydd y rhoddi iddo ei gyflog, ac
* Lef. 19, 13 na fachluded yr haul arno: o canys tlawd yw, ac
o Adn. 13 ar hyn y mae yn cynnal ei einioes; fel na lefo ar
Diar. 24, 9 yr Arglwydd yn dy erbyn, a bod pechod ynot.
* 2 Bren. 14, 6 16 * Na rodder i farwolaeth tadau tros feibion,
2 Cron. 25, 4 ac na rodder meibion i farw tros dadau: pob un
Ezec. 18, 20 a roddir i farwolaeth am ei bechod ei hun.
p Ex. 23, 2 17 p Na ŵyra farn y dieithr [na'r] ymddifad:
Pen. 16, 19 ac na chymmer ar wystloraeth wisc y weddw.
Ex. 21, 22 18 Onid meddwl mai gweinidog fuost yn yr
Diar. 22, 22 Aipht, a'th waredu o'r Arglwydd dy Dduw oddi
yno: am hynny'r wyfi yn gorchymyn it wneuthur
y peth hyn.
q Lef 19, 9. a 23,22 19 q Pan fedech dy gynhaiaf yn dy faes, ac
Iob 39,15 anghofio yscub yn y maes, na ddychwel iw
Ruth 2 16 chymmeryd [ond] bydded i'r dieithr, i'r ymddi-
Mat. 25, 40 fad, ac i'r weddw: fel y bendithio'r Arglwydd
Iago 1.19, 27 dy Dduw di yn holl waith dy ddwylo.
20 Pan escydwech dy olewydden na loffa yn
dy ol: bydded i'r dieithr, i'r ymddifad, ac i'r
weddw.
21 Pan gasclech rawn-win dy winllan, na loffa
yn dy ôl: bydded i'r dieithr, i'r ymddifad, ac i'r
weddw.

22 Meddwl hefyd mae gweinidog fuost yn
nhir yr Aipht: am hynny'r ydwyfi yn gorch-
ymyn it wneuthur y peth hyn.

## PEN. XXV.

1 *Iniondeb barn.* 3 *Mesur cospedigaeth.* 4 *Caiff y gweith-
udd fyw ar ei waith.* 5 *Am ennill plant i'r hwn a fyddo
farw yn ddiblant.* 11 *Cospedigaeth gwraig ddigwilydd.*
13 *Iniondeb pwyssau, a mesurau.* 19 *Gorchymyn am
ddifetha Amalec.*

PAN r fyddo ymrafael rhwng dynion, ai
dyfod i'r gyfraith i'w barnu: yna cyfiawn-
hant y cyfiawn, a beiant y beius.
2 s Ac o bydd y mab drygionus i'w guro: yna
pared y barnwr iddo orwedd, a phared ei guro
ef ger ei fron ei hun yn ol ei ddryganiaeth dann
rifedi.
3 t Pared iddo ddeugain [gwialennod, ac] na
chwaneged, rhac chwanegu o honaw ei guro ef
â llawer gwialennod uwchlaw hyn: a dirmygu
dy frawd yn dy olwg.
4 u * Na chae safn ŷch tra fyddo yn dyrnu.
5 v Os brodyr a drigant yng-hyd, a marw un
o honynt ac heb fab iddo, na phrioded gwraig
y marw ŵr dieithr oddi allan: aed ei chyfath-
rach-wr atti, a chymmered hi yn wraig iddo, a
gwnaed iddi ran cyfathrach-wr.
6 w A bydded i'r cyntaf-anedic yr hwn a ym-
ddwg hi sefyll ar enw ei frawd yr hwn fu farw:
fel na ddeleuer ei enw ef allan o Israel.
7 x Ac oni bydd bodlon y gŵr i gymmeryd ei
gyfathach-wraig, yna aed ei gyfathach-wraig i
fynu i'r porth at yr henuriaid, a dyweded: Gwr-
thododd fyng-hyfathrach-wr godi i'w frawd
enw yn Israel, ni fynne efe wneuthur rhan
cyfathrach-wr â mi.
8 y Yna galwed henuriaid ei ddinas am dano
ef, ac ymresymmant ag ef: o saif efe, a dywed-
yd, Nid wyfi fodlon i'w chymmeryd hi,
9 z Yna nessaed ei gyfathrach-wraig atto ef
yng-ŵydd yr henuriaid a dattoded ei escid ef
oddi am ei droed, a phoered yn ei wyneb ef, a
thestiolaethed, a dyweded: Felly y gwneir i'r
gŵr yr hwn nid adeilado dŷ ei frawd.
10 a A gelwir ei henw ef yn Israel: Tŷ'r hwn
y dottodwyd ei escid.
11 b O therfysca dynion yng-hyd [sef] gŵr ai
frawd, a nessau gwraig y naill i achub ei gŵr o
law ei drawudd, ac estyn ei llaw ac ymaflyd yn
ei warthle efe;
12 c Torr ymmaith ei llaw hi: nac arbeded
dy lygad [hi.]
13 d Na fydded gennit yn dy gôd amryw bwys:
[sef] mawr a bychan.
14 Na fydded gennit yn dy dŷ amryw fesur:
[sef] mawr a bychan.
15 e Bydded gennit garrec gyflawn a chyfiawn,
bydded gennit epha gyflawn a chyfiawn: fel yr
estyner dy dyddiau ar y ddaear yr hon y mae'r

Arglwydd dy Dduw yn ei rhòddi it.
1 Thes. 16 f Canys ffiaidd gan yr Arglwydd dy Dduw
,6 bob un a wnelo hyn, [sef] pawb ar a wnel an-
wiredd.
Ex.17,8 17 g Cofia yr hyn a wnaeth Amalec i ti ar y
ffordd pan ddaethoch allan o'r Aipht.
Mat 11, 18 g Yr hwn a'th gyfarfu ar y ffordd, ac a
Diar. laddodd o honot yr holl weiniaid [y rhai oeddynt]
,6 ddeffygiol o'th ôl di: h a thi yn lluddedic ac yn
ddeffygiol: ac nid ofnodd efe Dduw.
thaf.2, 19 i Am hynny bydded pan esmwytho'r Ar-
glwydd dy Dduw arnat oddi wrth dy holl elyn-
ion oddi amgylch, yn y tîr yr hwn y mae'r
Arglwydd dy Dduw yn ei roddi i ti yn etifedd-
Pen. 9, iaeth iw orescyn, j dynnu o honot ymmaith goff-
am 15, adwriaeth Amalec oddi tann y nefoedd: nac
anghofia [hyn.]

## PEN. XXVI.

1 *Offrymmiad y blaenffrwyth.* 12 *Degwm y drydedd flwyddyn.* 17 *Parch y rhai a wnel wasanaeth i Dduw.*

A PHAN ddelech i'r tir yr hwn y mae'r Ar-
glwydd dy Dduw yn ei roddi it yn etife-
ddiaeth: ai orescyn o honot a phresswylio ynddo:
Diar. ,10 2 k Yna cymmer o bob blaenffrwyth y ddaiar
um.18, yr hwn a ddygi o'th dir yr hwn y mae'r Argl-
uf. 8, wydd dy Dduw yn ei roddi it: a gosot mewn
,1,18 cawell, a dôs i'r lle'r hwn a ddewiso'r Arglwydd
2, 3 23,19 dy Dduw * i drigo oi enw ef ynddo.
4,23 3 l Yna dos at yr offeiriad yr hwn a fydd yn y
eu 12, dyddiau hynny, a dywet wrtho: Yr ydwyfi yn
eb.13, mynegu heddyw i'r Arglwydd dy Dduw fy
nyfod i'r tir, yr hwn a dyngodd yr Arglwydd
wrth ein tadau ar [ei] roddi i ni.
Mat. 4 m A chymmered yr offeiriad y cawell o'th
19 law di: a gosoded ef o flaen allor yr Arglwydd
dy Dduw.
ies 46, 5 n Yna atteb a dywet ger bron yr Arglwydd
dy Dduw, Syriad, ar ddarfod am dano [oedd]
fy nhad, ac efe a ddescynnodd i'r Aipht, ac a
ymdeithiodd yno ag ychydig bobl: ac a aeth yno
yn genhedlaeth fawr, gref, ac aml.
3.1,11 6 o A'r Aiphtiaid a'n drygodd ni, a chystudd-
1,14 iasant ni, a rhoddasant arnom wasanaeth caled.
2,23 ,7 7 p Ond galwasom ar Arglwydd Dduw ein
a. 16, tadau, a chlybu yr Arglwydd ein llais ni: gwel-
odd ein cystydd, a'n llafur, a'n gorthrymder.
Ex.6,6 8 q A'r Arglwydd a'n dug ni allan o'r Aipht
m.6,15 4,34 mewn llaw gadarn, ac mewn braich estynnedic
ac mewn ofn mawr, ac mewn arwyddion, ac
Ex.3,8 ue 20, mewn rhyfeddodau.
9 r Ac efe a'n dûg ni i'r lle hwn, ac a roes i ni
y tir hwn, [sef] tir yn llifeirio o laeth, a mêl.
10 s Ac yn awr wele mi a ddygais flaenffrwyth
n. 9 y tir yr hwn a roddaist i mi O Arglwydd: a gad
uf 12, ef ger bron yr Arglwydd dy Dduw, ac addola
Pen.16, ger bron yr Arglwydd dy Dduw.
11 t Ymlawenycha hefyd am bob daioni yr hwn
a roddodd yr Arglwydd dy Dduw i ti, ac i'th
deulu: ty di, a'r Lefiad, a'r dieithr yr hwn [a
fydd] yn dy fysc.
12 u Pan ddarffo it ddegymmu holl ddegwm u Lef.27,
dy gnwd yn y drydedd flwyddyn, [sef] blwy- 30 Num.18,
ddyn y degwm, yna y rhoddi i'r Lefiad, i'r diei- 24 Pen. 14,
thr, i'r ymddifad, ac i'r weddw: fel y bwyttânt 28
yn dy byrth di, ac y digoner hwynt.
13 x A dywet ger bron yr Arglwydd dy Dduw, y Pen 17,
Dygais [y peth] cyssegredic o'r tŷ, ac ai rhodd- 2
ais ef i'r Lefiad, ac i'r dieithr, i'r ymddifad, ac
i'r weddw: yn ol pob gorchymyn yr hwn a
* orchymynnaist im, ni throsseddais [ddim] o'th
orchymynnion, ac nis anghofiais.
14 w Ni fwytteais o honaw yn fyng-alar, ac ni w Lef.7,
ddygym ymmaith o honaw mewn halogedigaeth, 20 Hos. 9,4
ac ni roddais o honaw tros y marw: gwran- Pen. 16,
dewais ar lais yr Arglwydd fy Nuw, gwneuth- 11 Sal106,21
um yn ol yr hyn oll a orchymynnaist i mi. Hos 9, 4 Ezec. 24,
15 x Edrych o drigle dy sancteiddrwydd [sef] 17 x Sal 26,
o'r nefoedd, a bendithia dy bobl Israel, a'r 1, 2 Rhuf. 2,
ddaiar yr hon a roddaist i ni, megis y tyngaist 29
wrth ein tadau, [sef] tir yn llifeirio o laeth a mêl.
16 y Y dydd hwn y mae'r Arglwydd dy y Hos.12,
Dduw yn gorchymyn it wneuthur y deddfau 4
hyn, a'r barnedigaethau: cadw dithe a gwna
hwynt â'th holl galon, ac â'th holl enaid.
17 z * Mawrygaist yr Arglwydd heddyw i fod z Ex. 19,
yn Dduw i ti, ac i rodio [o honot] yn ei ffyrdd 3, 4 Pen5,2,3
ef, ac i gadw ei ddeddfau, ai orchymynnion, ai Gen.5,12
farnedigaethau, ac i wrando ar ei lais ef. 1Sam 15,
18 a Mawrygodd yr Arglwydd dithe heddyw i 20
fod yn bobl unic iddo ef megis y llefarodd wrthit, aEx.19,5 *Pen4,7
ac i gadw [o honot] ei holl orchymynnion. a 7, 6
19 b Ac i'th roddi * goruwch yr holl genhedl- b Pen.
oedd y rhai a wnaeth efe: mewn clod, ac mewn 8, 1 Seph. 3,
enw, ac mewn gogoniant: ac i fod o honot * yn 19
bobl sanctaidd i'r Arglwydd dy Dduw, megis y Esa. 56,5 a 61, 8
llefarodd efe. Rhuf. 6, 22

## PEN. XXVII.

*Gorchymyn scrifennu y gyfraith mewn carrec er coffadwriaeth.* 5 *Am adeiladaeth yr allor.* 12 *Am y bendithion ar fynydd Garizim.* 13 *Am y melldithion ar fynydd Ebal.*

YNA c y gorchymynnodd Moses a henur- c Adn. 9, Gal.3,10
iaid Israel i'r bobl, gan ddywedyd, Cedwch
yr holl orchymynnion y rhai yr ydwyfi yn en-
gorchymyn i chwi heddyw.
2 d A bydded yn y dydd yr hwn yr elech tros yr d Luc 19,
Iorddonen i'r tir yr hwn y mae'r Arglwydd dy 41
Dduw yn ei roddi it, godi o honot i ti gerric Ezec.24,
mawrion, a chalcha hwynt â chalch. 4 Act 23, 3 Mat.23,3
3 e Ac scrifenna arnynt holl eiriau y gyfraith 27 Rhuf. 2,
hon, pan elech trosodd i fyned i'r tir yr hwn y 21
mae'r Arglwydd dy Dduw yn ei roddi it, [sef] Ezec.26,
tir yn llifeirio o laeth a mêl: megis ac y llefar- 26
odd Arglwydd Dduw dy dadau wrthit. e Ex. 34,
4 f A phan eloch tros yr Iorddonen, cedwch y 28 Adn.

cerric hyn y rhai yr ydwyfi yn eu gorchymyn
i chwi heddyw ym mynydd Ebal: a chalcha
hwynt â chalch.
g Ex.24, 5 g Ac * adailada yno allor i'r Arglwydd dy
*Ex.20,5 Dduw, [sef] allor gerric, na chyfod arnynt [arf]
Esa.52,14 Ios. 8, haiarn.
31 Gen.8,20 6 [A] cherric cyfan yr adailedi allor yr Ar-
glwydd dy Dduw; yna offrymma arni boeth-
offrymmau i'r Arglwydd dy Dduw.
h Lef.3,1, 15 7 h Offrymma hefyd hedd aberthau, a bwytta
Gal.3,13 yno, a llawenycha ger bron yr Arglwydd dy
Dduw.
i Hab.2,2 8 i Ac scrifenna ar y cerric holl eiriau y gyf-
Dat 2,17 2 Cor. 3, raith hon yn eglur ddigon.
2, 3 j Micha4,5 9 j A llefarodd Moses a'r offeiriaid Lefiadaidd
Pen. 26, wrth holl Israel, gan ddywedyd, Gwrando a
17 chlyw O Israel, y dydd hwn i'th wnaethpwyd
yn bobl i'r Arglwydd dy Dduw.
k Iago 1, 10 k Gwrando gan hynny ar lais yr Arglwydd
22 dy Dduw, a gwna ei orchymynnion ef, ai ddeddf-
au y rhai'r wyfi yn eu gorchymyn i ti heddyw.
11 A gorchymynodd Moses [i'r] bobl y dydd
hwnnw, gan ddywedyd,
l Pen.11, 12 l Y rhai hyn a safant i fendithio y bobl ar
29 Barn.9,7 fynydd Garizim, pan eloch tros yr Iorddonen:
Simeon, a Lefi, ac Iuda, ac Issachar, ac Ioseph,
a Beniamin.
m Gen. 13 m A'r rhai hyn a safant i felldithio ar fynydd
29,3,4 Ebal; Ruben, Gad, ac Aser, Zabulon hefyd,
a 30, 20, Gen. 30, Dan, a Nephthali.
4, 5, 6, 7 14 n Yna y Lefiaid a destiolaethant, ac a ddy-
n Esa. 8, wedant wrth bob gŵr [o] Israel [â] llef uchel,
33 Pen. 33, 10 15 o Melldigedic yw'r gŵr yr hwn a wnelo
o Pen 11, ddelw gerfiedic, neu ddelw doddedic [sef] ffi-
29 Gal.3,10 eidd-dra'r Arglwydd, gwaith dwylo y saer, ac ai
Mat.5,41 Ex. 20, 4 gosodo mewn [lle] dirgel, a'r holl bobl a atteb-
2 Bren. 23, 13 ant ac a ddywedant, Amên.
Hos.13,2 16 p Melldigedic yw'r hwn a ddirmygo ei dad
Ezec. 8, 12 neu ei fam, a dyweded yr holl bobl Amên.
p Ex. 20 17 q Melldigedic yw'r hwn a symmudo derfyn
12 q Pen.19, 14 ei gymydog, a dyweded yr holl bobl Amên.
r Iob 29, 18 r Melldigedic yw'r hwn a gyfeiliorno y dall
15 o'r ffordd, a dyweded yr holl bobl Amên.
s Pen 24, 19 s Melldigedic yw'r hwn a ŵyro farn y
17 dieithr, yr ymddifad, a'r weddw, a dyweded yr
holl bobl Amên.
20 Melldigedic yw'r hwn a orweddo gyd a
gwraig ei dad, o herwydd datcuddiodd odre ei
dad, a dyweded yr holl bobl Amên.
21 Melldigedic yw'r hwn a orweddo gyd ag
un anifail, a dyweded yr holl bobl Amên.
22 Melldigedic yw'r hwn a orweddo gyd ai
chwaer, merch ei dad, neu ferch ei fam ef, a
dyweded yr holl bobl Amên.
23 Melldigedic yw'r hwn a orweddo gyd ai
chwegr, a dyweded yr holl bobl Amên.
t Pen 5,4 24 t Melldigedic yw'r hwn a darawo ei gym-
ydog yn ddirgel, a dyweded yr holl bobl Amên.
25 u * Melldigedic yw'r hwn a gymmero wobr
er dieneidio [perchen] gwaed gwirion, a dywed-
ed yr holl bobl Amên.
26 * Melldigedic yw'r hwn ni pharhao yng-
eiriau y gyfraith hon, gan eu gwneuthur hwynt,
a dyweded yr holl bobl Amên.

## PEN. XXVIII.

*Daioni Duw i'r rhai a gadwant ei orchymynnion ef. 15 Ai gosb i'r rhai nis cadwant.*

AC v os gan wrando y gwrandewi ar lais
yr Arglwydd dy Dduw, gan gadw [a]
gwneuthur ei holl orchymynnion ef, y rhai'r
ydwyfi yn eu gorchymyn i ti heddyw; yna yr
Arglwydd dy Dduw a'th esyd yn uwch na holl
genhedloedd y ddaiar.
2 w A'r holl fendithion hyn a ddeuant arnat, ac
a'th oddiweddant os gwrandewi ar lais yr Ar-
glwydd dy Dduw.
3 x Bendigedic fyddi di yn y ddinas, a bendi-
gedic fyddi di yn y maes.
4 y Bendigedic fydd ffrwyth dy frû, a ffrwyth
dy dir, a ffrwyth dy anifail di, mwyniant dy war-
thec, a chorlannau dy ddefaid.
5 z Bendigedig fydd dy gawell, a'th does di.
6 a Bendigedic fyddi di yn dy ddyfodiad, ben-
digedic hefyd fyddi yn dy fynediad.
7 b Rhydd yr Arglwydd dy elynnion y rhai a
ymgodant i'th erbyn yn lladdedic o'th flaen di:
drwy un ffordd y deuant i'th erbyn, a thrwy
saith o ffyrdd y ffoant o'th flaen.
8 c Yr Arglwydd a orchymyn i ti y fendith yn
dy drysordai, ac yn yr hyn oll yr d estynnech dy
law arno; ac a'th fendithia yn y tir yr hwn y
mae'r Arglwydd dy Dduw yn ei roddi i ti.
9 e Yr Arglwydd a'th gyfyd ti yn bobl sanct-
aidd iddo ei hun megis y tyngodd wrthit; os
cedwi orchymynnion yr Arglwydd dy Dduw, a
rhodio yn ei ffyrdd ef.
10 f A holl bobloedd y ddaiar a welant fod
henw yr Arglwydd yn alwedic arnat; ac a ofn-
ant rhagot:
11 A'r Arglwydd a'th lwydda di mewn da-
ioni, yn ffrwyth dy frû, ac yn ffrwyth dy anifeil-
iaid, ac yn ffrwyth dy ddaiar, yn y tir yr hwn a
dyngodd yr Arglwydd i'th dadau ar ei roddi i ti.
12 g Yr Arglwydd a egor ei drysor daionus i
ti, sef y nefoedd i roddi glaw [i'th] dir di yn ei
amser, ac i fendigo holl waith dy law; a thi a
roddi echwyn i genhedloedd lawer, ac ni cheisi
echwyn.
13 h A'r Arglwydd a'th rydd di yn ben, ac nid
yn gynffon, hefyd ti a fyddi yn uchaf yn unic ac
nid yn isaf, os gwrandewi ar orchymynnion yr
Arglwydd dy Dduw y rhai'r ydwyfi yn gorchy-
myn it heddyw [eu] cadw, ai gwneuthur.
14 Ac heb gilio o honot oddi wrth yr holl eiriau

y rhai yr wyf i yn eu gorchymyn i chwi heddyw,
i'r tu dehau neu i'r tu asswy: gan fyned ar ol
duwiau dieithr i'w gwasanaethu hwynt.
*Lef. 26, 15 A bydd, *oni wrandewi ar lais yr Arglwydd
Mal. 2, 2 dy Dduw, gan gadw [a] gwneuthur ei holl orch-
ymynnion ef, ai ddeddfau, y rhai yr ydwyf yn
eu gorchymyn i ti heddyw, y daw arnat yr holl
felldithion hyn, ac a'th oddiweddant.
Adn. 3 16 [i] Melldigedic fyddi di yn y ddinas, a melldi-
gedic fyddi di yn y maes.
Adn. 5 17 [j] Melldigedic fydd dy gawell a'th does di.
Adn. 4, 18 [k] Melldigedic fydd ffrwyth dy frû, a ffrwyth
dy ddaiar, mwyniant dy warthec, a chorlannau
dy ddefaid.
Adn. 6, 19 [l] Melldigedic fyddi yn dy ddyfodiad, a
melldigedic fyddi yn dy fynediad.
Mal. 2, 20 [m] Yr Arglwydd a ddenfyn arnat ti felldith,
trallod, a cherydd yn yr hyn oll yr estynnech dy
law arno [ac yn] yr hyn a wnelech, nes iddo dy
ddinistrio, a'th ddifetha di yn gyflym, am ddryg-
ioni dy weithredoedd [yn] y rhai i'm gwrthod-
ait i.
21 [n] Yr Arglwydd a wna i haint lynu wrthit
nes iddo dy ddifa oddi ar y tir yr hwn yr ydwyt
ti yn myned iddo iw orescyn.
22 * Yr * Arglwydd a'th dery â chwŷdd, ac â
chryd poeth, ac â lloscfa, ac â gwrês, ac â chle-
ddyf, ac â diflanniad, ac â mallder, a hwynt a'th
ddilynant nes dy ddifetha.
23 [p] Dy nefoedd hefyd y rhai [ydynt] uwch
dy benn a fyddant yn bres, a'r ddaiar yr hon
[sydd] oddi tanat yn haiarn.
24 [q] Yr Arglwydd a rydd [yn lle] glaw dy
ddaiar, lwch a lludw: o'r nefoedd y descyn ar-
nat hyd onith ddinistrer.
24 Yr Arglwydd a wna it syrthio o flaen dy
elynnion, drwy un ffordd yr ei di yn eu herbyn
hwynt, a thrwy saith o ffyrdd y ffoi oi blaen
hwynt: a thi a fyddi ar wascar dros holl deyrn-
asoedd y ddaiar.
26 [r] A'th gelen a fydd bwyd i holl ehediaid y
nefoedd, ac i anifeiliaid y tir, ac ni [bydd] tarfudd.
27 [s] Yr Arglwydd a'th dery di â chornwyd yr
Aipht, ac â chlwyf y marchogion, ac â chrach,
ac ag ysfa: y rhai nid ellir eu hiachau.
28 [t] Yr Arglwydd a'th dery di ag ynfydrwydd,
ac â dallineb, ac â syndra calon.
29 Byddi hefyd yn ymbalfalu ganol dydd, fel
yr ymbalfale y dall yn y tywyllwch, ac ni lwy-
ddi yn dy ffyrdd di: a diau y byddi orthrym-
medic, ac anrhaithiedic byth, ac ni [bydd] gwa-
redudd.
30 [v] Ti a ymgredi â gwraig, a gŵr arall a gyd-
orwedd â hi, ti a adeiledi dŷ, ac ni thrigi ynddo,
ti a blenni winllan, ac ni chescli y ffrwyth.
31 Dy ŷch a leddir yn dy olwg, ac ni fwyttei
o honaw; dy assyn a ddugir drwy drais o flaen
dy wyneb, ac ni ddaw adref attat; dy ddefaid a
roddir i'th elynnion, ac ni [bydd] i ti achubudd.
32 [w] Dy feibion a'th ferched a roddir i bobl eraill, w Sal. 119, 82
a'th lygaid yn gweled ac yn pallu am danynt bob Mic. 4, 1
dydd, ac ni [bydd] yng-allu dy law eu [gwared.]
33 [x] Ffrwyth dy ddaiar a'th holl lafur a fwyt- x Ier. 5, 7
tu pobl y rhai nis adnabuost: a byddi yn unic
orthrymmedic a drylliedic yr holl ddyddiau.
34 [y] A byddi wall-gofus gan weledigaeth dy y Adn. 67
lygaid, yr hon a welech. Gal. 3, 12
35 Yr Arglwydd a'th dery di â chornwyd dryg-
ionus yn dy gliniau, ac yn yr esceiriau, yr hwn
ni ellir ei iachau: o wadn dy droed hyd dy goryn.
36 [z] Yr Arglwydd a'th ddwg di, (a'th frenin z 2 Bren. 17, 6
yr hwn a osodech arnat) at genedl yr hon nid 2 Bren. 24, 14
adnabuost di na'th dadau di: a gwasanaethi yno
dduwiau [a] dieithr [o] bren neu faen. a Esa. 44, 9
37 A byddi yn * rhyfeddod, yn ddammeg, ac *Ier. 24, 9
yn ddihareb ym mhlith yr holl bobloedd y rhai'r a 25, 9
arwain yr Arglwydd di attynt.
38 [b] * Hâd lawer a ddygi allan i'r maes: ac b Ioel. 1, 4
ychydig a gescli, o herwydd locust ai hyssa ef. *Mica. 6, 15
39 [c] Gwinllannoedd a blenni, ac a goleddi, ond Hag. 1, 6
gwin nid yfi, ac ni chescli [y grawn-win] canys c Iona 4, 7
pryfed ai bwyttu.
40 [d] Oliwydd a fyddant i ti, o fewn dy holl d Sal. 23, 5
derfyn, ac ag olew ni'th îrir: o herwydd dy oli-
wydden a ddyhidla.
41 Meibion a merched a genhedli, ac ni bydd-
ant i ti: o herwydd hwy a ânt mewn caethiwed.
42 Dy holl brennau, a ffrwythau dy dir a
orescyn y locust.
43 [e] Y dieithr yr hwn [a fydd] yn dy fysc, a e Ioan. 30, 1, 2
ddring arnat yn uchel uchel: a thi a ddescynni
yn isel isel.
44 [f] Efe a fenthygia i ti, a thi ni fenthygi iddo f Adn 12
ef: efe a fydd yn ben, a thi a fyddi'n gynffon. Lef. 26, 18
45 [g] A'r holl felldithion hyn a ddeuant arnat, g Adn 15
ac a'th erlidiant, ac a'th oddiweddant, hyd onith
ddinistrir: am na wrandewaist ar lais yr Arg-
lwydd dy Dduw, gan gadw ei orchymynnion,
ai ddeddfau ef, y rhai a orchymynnodd i ti.
46 [h] A byddant yn arwydd, ac yn rhyfeddod h Esa. 34, 5
ynot ti, ac yn dy hâd hyd byth.
47 [i] O blegit na wasanaethaist yr Arglwydd i Esa. 65, 14
dy Dduw mewn llawenydd, ac mewn hyfryd- Neh. 9, 35
wch calon: am amldra pob dim.
48 [j] Am hynny y gwasanaethi di dy elynnion j 2 Cron. 12, 8
y rhai a ddenfyn yr Arglwydd yn dy erbyn, Mat. 11, 30
mewn newyn, ac mewn syched, ac mewn noeth-
ni, ac mewn eisieu pob dim: ac efe a ddyru iau
haiarn am dy wddf hyd oni ddinistrio efe dydi.
49 [k] Yr Arglwydd a ddwg i'th erbyn genedl o k Dan. 7, 4
bell [sef] o eithaf y tir, megis ac yr eheda yr Ezec. 17, 3, 12
eryr: cenedl yr hon ni ddealli ei hiaith. Galar. 4, 19
50 [l] Cenedl wyneb-galed, yr hon ni dderbyn l Dan. 8, 23
wyneb yr henafgwr: ac ni bydd calon i'r llangc. Sal. 73, 5

m Esa. 1, 7. Hab 3,17. Esa. 62,8. 9. 51 m Ac y hi a fwytta ffrwyth dy anifeiliaid, a ffrwyth dy ddaiar, hyd onith ddinistrir: yr hon ni weddilla i ti ŷd, gwîn, nac olew, mwyniant dy warthec, na chorlannau dy ddefaid, hyd onith ddifetho di.

n 2 Bren 17, 5. a 25, 1, 2. 52 n A hi a warche arnat ti yn dy holl byrth, hyd oni syrthio dy uchel a'th gedyrn gaerau, y rhai'r ydwyt yn ymddiried ynddynt, o fewn dy holl dir: hi a warche hefyd arnat yn dy holl byrth o fewn dy holl dir yr hwn a roddodd yr Arglwydd dy Dduw i ti.

o Lef. 26, 29. Ier 19, 9. o 2 Bren 6, 29. Galar. 4, 10. 53 * Ffrwyth dy fru, o [sef] cig dy feibion, a'th ferched y rhai a roddodd yr Arglwydd dy Dduw it a fwyttei yn y gwarche, ac yn y cyfyngdra yr hwn a ddwg dy elyn arnat.

Pen. 15. 19. 2 Bren 6, 28, 29. p Mica. 7, 5. Pen 13, 6. 54 p Y gŵr tyner yn dy blith, a'r moethus iawn a greulona ei lygad wrth ei frawd, ac wrth wraig ei fynwes, ac wrth weddill ei feibion y rhai a weddillodd efe.

q Adn 57. 55 q Rhac rhoddi i un o honynt o gig ei feibion, y rhai a fwytta efe: o eisiau gado iddo ddim yn y gwarche, ac yn y cyfyngdra, yr hwn a gyfyngodd dy elyn arnat o fewn dy holl byrth.

r Galar. 4, 4, 5. Salm 127, 1, 2. Ier. 5, 10. a 34, 22. 2 Cron. 36, 17. 56 r Y wraig dyner a'r foethus yn dy fysc, yr hon ni phrofodd osod gwadn ei throed ar y ddaiar, gan fwythe a thynerwch a greulona ei llygad wrth ŵr ei mynwes, ac wrth ei mab, ac wrth ei merch.

57 Ac wrth ei bogel yr hwn a ddaw allan oi chorph, ai meibion y rhai a blanta hi, canys hi ai bwyttu hwynt yn ddirgel pan ballo pob dim [arall] yn y gwarche, ac yn y cyfyngdra, yr hwn a gyfyngo dy elyn arnat o fewn dy byrth.

s Ex. 20, 7. Mat. 6, 9. Lef. 24, 11. 2 Sam. 6, 2. Sal. 83, 18. Ex. 6, 3. Phil. 2, 10. 58 s Oni chedwi ar wneuthur holl eiriau y gyfraith hon, y rhai ydynt scrifennedic yn y llyfr hwn, gan ofni'r henw gogoneddus, ac ofnadwy hwn YR ARGLWYDD DY DDUW:

t Dan. 9, 12. 59 t Yna y gwna'r Arglwydd dy blauau di yn rhyfedd, a phlauau dy hâd: [sef] plauau mawrion, a pharhaus, a chlefydau drygionus a pharhaus.

u Ex 8, 9. Pen. 7, 15. 60 u Ac efe a ddwg attat holl glwyfau yr Aipht y rhai yr ofnaist rhacddynt, a glynant wrthit.

v Mat. 8, 8, 9. Ex. 15, 16. 61 v Ië, pob clefyd a phob plâ yr hwn nid yw scrifennedic yn llyfr y gyfraith hon a ddwg yr Arglwydd arnat, hyd oni'th ddinistrir.

w Esa. 1, 9. Gen. 34, 30. Num. 9, 20. Sal. 90, 3. * Pen. 10. 22. 62 w Felly chwi a adewir yn ychydig bobl, lle yr oeddech fel * sêr y nefoedd o luosogrwydd: o herwydd na wrandewaist ar lais yr Arglwydd dy Dduw.

Gen 15, 5. Gen. 22, 17. a 26, 4. Neh. 9, 23. x Lef. 26. 33. Ier. 32, 41. Diar. 1, 26. Salm. 9, 20. 63 x A bydd megis ac y llawenychodd yr Arglwydd ynoch wrth wneuthur daioni iwch, ac wrth eich amlhâu: felly y llawenycha yr Arglwydd ynoch chwi, gan eich dinistrio a'ch difetha chwi: a diwreiddir chwi o'r tir yr hwn yr ydwyt yn myned iddo iw orescyn.

64 A'r Arglwydd a'th wascar di ym mhlith yr holl bobloedd o'r [naill] gwrr i'r ddaiar, hyd y cwrr [arall] i'r ddaiar: a gwasanaethi yno dduwiau dieithr y rhai nid adnabuost ti na'th dadau, [sef] pren a maen.

65 y Ac ym-mhlith y cenhedloedd hyn ni orphwysi, ac ni bydd gorphywysdra i wadn dy droed, canys yr Arglwydd a rydd it yno galon aflonydd, a darfodigaeth llygaid, a gofal meddwl.

66 A'th einioes a fydd yn crogi gyferbyn â thi, a thi a ofni nos a dydd, ac ni byddi siccr o'th einioes.

67 Y boreu y dywedi, O na ddeue yr hwyr, ac yn yr hwyr y dywedi, O na ddeue y borau: rhac dychryn dy galon, [gan] yr hwn y dychrynni, a rhac gweledigaeth dy lygaid yr hon a welech.

68 z A'r Arglwydd a'th ddychwel di i'r Aipht mewn llongau ar hyd y ffordd yr hon y dywedais wrthit na chwanegit ei gweled mwy: a chwi a ymwerthwch yno i'ch gelynion yn gaeth-weision, ac yn gaeth-forwynion: ac ni [bydd] prynnudd.

## PEN. XXIX.

*Moses trwy amryw resymmau sydd yn annog y bobl i gadw gorchymyn Duw, a'i gyfammod.*

DYMMA a eiriau y cyfammod yr hwn a orchymynodd yr Arglwydd wrth Moses ei wneuthur â meibion Israel o fewn tir Moab: heb law y cyfammod yr hwn a ammododd efe â hwynt yn Horeb.

2 b Yna y galwodd Moses am holl Israel, ac y dywedodd wrthynt, Chwi a welsoch yr hyn oll a wnaeth yr Arglwydd o flaen eich llygaid chwi yn nhir yr Aipht i Pharao, ac iw holl weision, ac iw holl dir.

3 c [Sef] y profedigaethau mawrion y rhai a welodd eich llygaid, yr arwyddion a'r rhyfeddodau mawrion hynny.

4 d Ond ni roddodd yr Arglwydd i chwi galon i wybod, na llygaid i weled, na chlustiau i glywed y dydd hwn.

5 e Arweiniais chwi yn yr anialwch ddeugain mhlynedd hefyd: ni heneiddiodd eich dillad am danoch, ac ni heneiddiodd dy escid am dy droed.

6 f Bara ni fwyttasoch, a gwîn neu ddiod gref nid yfasoch: fel y gwyddech mai myfi [oedd wn] yr Arglwydd eich Duw chwi.

7 g A daethoch hyd y lle hwn: yna y daeth allan Sehon brenin Hesbon, ac Og brenin Basan i'n cyfarfod mewn rhyfel, ac ni ai lladdasom hwynt:

8 h Ac a ddugasom eu tir hwynt, ac ai rhoesom yn etifeddiaeth i'r Rubeniaid, ac i'r Gadiaid, ac i hanner llwyth Manasses.

9 i * Cedwch gan hynny eiriau y cyfammod hwn, a gwnewch hwynt, fel y dealloch yr hyn oll a ddylech ei wneuthur.

10 Yr ydych chwi oll yn sefyll heddyw ger bron yr Arglwydd eich Duw: eich pennaethiaid, eich llwythau, eich henuriaid, a'ch swyddogion,

[a] phob gŵr o Israel:
Ex. 12, 11 [j] Eich plant, eich gwragedd, a'th ddieithr
Jos 9,21, [ddyn] yr hwn [sydd] o fewn dy werssyll, o gy-
Jal. 3,28 mynydd dy goed hyd wahenuudd dy ddwfr.
Neh.10 12 [k] I fyned o honot dann gyfammod yr Ar-
glwydd dy Dduw, a than ei gyngrair ef, yr hwn
y mae'r Arglwydd dy Dduw yn ei wneuthur â
thi heddyw.
13 [l] I'th sicrhau heddyw yn bobl iddo ei hun,
ac i fod o honaw yntef yn Dduw i ti, megis y llef-
arodd wrthit, ac fel y tyngodd wrth dy dadau,
[sef] wrth Abraham, wrth Isaac, ac wrth Iacob.
14 Ac nid â chwi yn unic yr ydwyfi yn gwneu-
thur y cyfammod hwn, a'r cyngrair ymma;
Act 2, 15 [m] Ond â'r hwn sydd ymma gyd a ni yn se-
fyll heddyw ger bron yr Arglwydd ein Duw, ac
â'r hwn nid [yw] ymma gyd a ni heddyw.
16 Canys chwi a wyddoch y modd y trigas-
om ni yn nhir yr Aipht, a'r modd y daethom trwy
ganol y cenhedloedd y rhai y daethoch trwy-
ddynt.
17 A chwi a welsoch eu ffiaidd-dra hwynt, ai
heulun dduwiau, (o bren, a maen, arian, ac aur,)
y rhai [oeddynt] gyd a hwynt.
18 [n] Rhac bod yn eich mysc ŵr, neu wraig,
neu deulu, neu lwyth, yr hwn y trŷ ei galon
heddyw oddiwrth yr Arglwydd ein Duw, i fyned
i wasanaethu duwiau y cenhedloedd hyn:
rhac bod yn eich mysc wreiddin yn ffrwytho [o]
gwenwyn, ac wermod,
19 [p] A bod pan glywo efe eiriau y cyngrair
hwn ymfendithio o honaw yn ei galon ei hun,
gan ddywedyd: Heddwch fydd i mi pan rodiwyf
yng-hyndynrwydd fyng-halon i chwanegu y
feddw at y sychedic.
20 [q] Ni fynn yr Arglwydd faddeu iddo, canys
yna y mŷga digllonedd yr Arglwydd, ai eiddig-
edd yn erbyn y gŵr hwnnw, a'r holl felldith yr
hon sydd scrifennedic yn y llyfr hwn a orwedd
arno ef, a'r Arglwydd a ddelea ei enw ef oddi
tann y nefoedd.
21 [r] A'r Arglwydd ai nailltua ef oddi wrth holl
lwythau Israel i [gael] drygioni, yn ol holl fell-
dithion y cyfammod yr hwn a scrifennwyd yn
llyfr y gyfraith hon.
22 A dywed y genhedlaeth yr hon a ddaw ar
ol, [sef] eich plant chwi y rhai a godant ar eich
ol chwi, a'r dieithr yr hwn a ddaw o wlâd bell,
pan welant blanau y wlâd hon, ai chlwyfau
[trwy] 'r rhai y llescaodd yr Arglwydd hi:
23 [s] (Ei thir wedi ei losci oll [gan] frwmstan,
a halen, ni heuir, ac ni ffaen-dardda, ac ni ddaw
i fynu un llyssieuu ynddo: fel dinistr [*] Sodoma,
a Gomorra, Adama, a Zeboim, y rhai a ddinistr-
iodd yr Arglwydd yn ei ddigllonedd, ai ddig-
ofaint.)
24 A'r holl genhedloedd a ddywedant, [*] Pa
ham y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn i'r tir hwn?
pa ddigder yw y digllonedd mawr hyn?
25 Yna y dywedir, Am wrthod o honynt gy-
fammod Arglwydd Dduw eu tadau, yr hwn a
ammododd efe a hwynt, pan ddûg efe hwynt
allan o dir yr Aipht.
26 [t] Canys aethant a gwasanaethasant dduw- t Sal. 1, 6
iau dieithr, ac ymgrymmasant iddynt, [sef] i
dduwiau y rhai nis adwaenent hwy, ac ni rodd-
asent iddynt [ddim.]
27 [u] Am hynny'r ennynnodd digllonedd yr Ar- u Dan 9,
glwydd yn erbyn y wlâd hon, i ddwyn arni bob 11
melldith a'r y sydd scrifennedic yn y llyfr hwn.
28 [v] A'r Arglwydd ai dinistriodd hwynt oi tir v Ier. 24,
mewn digllonedd, ac mewn digter, ac mewn llid 6 a 42, 10
mawr: ac ai gyrrodd hwynt i wlâd arall megis 1 Pedr 1,
[y gwelir] heddyw. 5
29 [w] Y dirgeledigaethau [ydynt] eiddo 'r Ar- w Act. 7,
glwydd ein Duw, a'r amlwg bethau [a rodd- 1 Esa. 8,20.
wyd] i ni, ac i'n meibion hyd byth, i wneuthur
holl eiriau y gyfraith hon.

## PEN. XXX.

*Addewid o drugaredd os edifarhae y bobl. 6 Duw yn enwaedu y galon. 11 Nid gwiw cymmeryd escus o annwybodaeth. 19 Y mae efe yn rhoddi einioes ac angeu oi blaen hwynt.*

A [x] PHAN ddelo'r holl bethau hyn arnat, x Gal. 3,
[sef] y fendith a'r felldith y rhai a roddais 24 Rhuf. 8,8.
o'th flaen ac ail gofio o honot [hwynt] ym mysc 4 Pen.4,29
yr holl genhedloedd, y rhai i'th fwrw 'r Ar- 30
glwydd dy Dduw di attynt: 1 Bren 8, 46
2 [y] A dychwelyd o honot at yr Arglwydd dy Luc15,17 yGalar.3
Dduw, a gwrando o honot ar ei lais ef (yn ol yr 40 Ioan 6,35
hyn oll yr ydwyf yn ei orchymyn i ti heddyw) Rhuf. 10,
ti, a'th feibion, â'th holl galon, ac â'th holl enaid; 10
3 [z] Yna y dychwel yr Arglwydd dy Dduw dy z Sal. 69,
gaethiwed, ac y cymmer drugaredd arnat, ac y 19 Eph 4,8
trŷ, ac a'th gascl o fysc yr holl bobloedd, y 2 Pedr 2, 19, 20
rhai i'th wascaro 'r Arglwydd dy Dduw di at- Galar. 3,
tynt. 22 Mat.9,36
4 [a] Pe i'th wthyt i eithaf y nefoedd, oddi yno Ier.31,10 a Ioan 7,
i'th gascle 'r Arglwydd dy Dduw, ac oddi yno 35 1Pedr1,1
i'th gymmere di.
5 [b] Yr Arglwydd dy Dduw a'th ddŵg i'r tir b Sal. 69,
yr hwn a orescynnodd dy dadau, a thithe ai gor- 36.
escynni: ac efe a fydd dda wrthit, ac a'th wna
yn amlach na'th dadau.
6 [c] A'r Arglwydd dy Dduw a enwaeda dy c Col 2,
galon, a chalon dy hâd i garu 'r Arglwydd dy 11 Rhuf. 13,
Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, er 10
mwyn byw o honot.
7 A'r Arglwydd dy Dduw a rydd yr holl fell-
dithion hyn ar dy elynion, ac ar dy gaseion, y
rhai a'th erlidiant di.
8 Tithe a ddychweli ac a wrandewi ar lais yr
Arglwydd, ac a wnei ei holl orchymynnion ef,
y rhai 'r ydwyf yn eu gorchymyn i ti heddyw.

9 [d] A'r Arglwydd dy Ddnw a wna it ragori, yn holl waith dy law, yn ffrwyth dy frû, ac yn ffrwyth dy anifeiliaid, ac yn ffrwyth dy ddaiar, canys trŷ'r Arglwydd i lawenychu ynot, gan wneuthur daioni [it] fel y llawenychodd yn dy dadau.

d 1 Tim. 4, 8 Luc 15, 6, 7 Esa. 65, 19 Ier. 32, 41

10 Os gwrandewi ar lais yr Arglwydd dy Dduw, gan gadw ei orchymynnion ef, ai ddeddfau y rhai ydynt scrifennedic yn llyfr y gyfraith hon: os dychweli at yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid.

11 [e] O herwydd y gorchymyn ymma 'r hwn yr ydwyf yn ei orchymyn i ti heddyw, nid cuddiedic [yw] efe oddi wrthit, ac nid pell [yw] efe.

e Rhuf 10, 6 Pen 17, 18 Diar. 30, 18 Ier. 32, 17

12 Nid yn y nefoedd [y mae] efe, i ddywedyd [o honot]* Pwy a ddring [f] drosom i'r nefoedd, ac ai dwg i ni, fel y clywom ni, ac y gwnelom ef?

* Rhuf. 10, 6 f 1 Tim. 3, 16 Ioan 3, 13

13 [g] Ac nid o'r tu hwnt i'r môr [y mae] efe, i ddywedyd [o neb,] Pwy a dramwya trosom ni i'r tu hwnt i'r môr, ac ai dŵg i ni, fel y clywom ac y gwnelom ef?

g Rhuf 10, 7 Sal. 71, 20

14 [h] Canys y gair sydd agos iawn attat, yn dy enau, ac yn dy galon iw wneuthur ef.

h Rhuf. 10, 8 Ioan 5, 46 6, 29 Heb. 8, 10

15 Wele, rhoddais o'th flaen heddyw enioes, a daioni, ac angeu, a drygioni.

16 [i] Lle yr ydwyfi yn gorchymyn i ti heddyw garu 'r Arglwydd dy Dduw, gan rodio yn ei ffyrdd ef, a chan gadw ei orchymynnion, ai ddeddfau, ai farnedigaethau ef: fel y byddech fyw, ac i'th amlhâer, ac i'th fendithio'r Arglwydd dy Dduw yn y tir, yr hwn yr wyt yn myned iddo iw orescyn.

i Ioan 14, 15 1 Ioan 5, 3 a 3, 23

17 [j] Ond os trŷ dy galon fel na wrandawech, a'th yrru i ymgrymmu o honot i dduwiau dieithr, ai gwasanaethu hwynt:

j Pen. 29, 16 Act. 20, 30

18 [k] Mynegais i chwi heddyw mai gan ddifetha i'ch difethir, [ac] nad estynnwch ddyddiau ar y ddaiar yr hon yr ydwyt yn myned tros yr Iorddonen i fyned i mewn iddi iw gorescyn.

k Pen. 4, 26

19 *Gelwais [l] yn dŷst i'th erbyn heddyw y nefoedd, a'r ddaiar, roddi o honof o'th flaen angeu ac enioes, fendith a melldith: dewis dithe yr enioes fel y byddech fyw ti a'th hâd.

* Pen 4, 26, a 26 1 Tim. 3, 21 l Ios. 24, 22 Rhuf. 3, 27

20 [m] Gan garu 'r Arglwydd dy Dduw, gan wrando ar ei lais ef, a chan lynu wrtho ef: canys efe yw dy enioes, ac estynniad dy ddyddiau i drigo ar y ddaiar, yr hon a dyngodd yr Arglwydd wrth dy dadau, wrth Abraham, wrth Israel, ac wrth Iacob ar ei rhoddi iddynt.

m Ioan. 17, 3 a 11, 25 Act. 17, 25

## PEN. XXXI.

*1 Moses erbyn ei farw yn gosod Iosuah i lywodraethu y bobl. 9 Ac yn rhoddi y gyfraith at y Lefiaid iw darlleni i'r bobl. 19 Duw yn rhoddi cân yn destiolaeth rhyngddo ei hun a'r bobl. 23 Ac yn cadarnhau Iosuah. 29 Moses yn rhybyddio y bobl oi hanufydd-dod i Dduw wedi ei farwolaeth ef.*

YNA 'r aeth Moses, ac a lefarodd y geiriau hyn wrth holl Israel:

2 [n] Ac a ddywedodd wrthynt, Mab chwech ugain-mlwydd ydwyfi heddyw, ni allaf mwy. fyned allan, a dyfod i mewn: yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrthif, Ni chei fyned * tros yr Iorddonen hon.

n Act 7, 20 Ex 7, 7 Num. 27, 17 [o] Pen. 3, 20 Esa. 4, 31 * Num. 20, 12

3 [o] Yr Arglwydd dy Dduw sydd yn myned trosodd o'th flaen di, efe a ddinistria y cenhedloedd hyn o'th flaen, fel y gorescynnech hwynt: * Iosuah hefyd fydd yn myned trosodd o'th flaen, fel y llefarodd yr Arglwydd.

o Pen. 9, 1, 3 * Num. 27, 18, 21 Ioan 1, 17 Rhuf. 10, 4

4 [p] A'r Arglwydd a wna iddynt fel y gwnaeth i Sehon, ac i Og, brenhinoedd yr Amoriaid, ac i'w tir hwynt, y rhai a ddinistriodd efe.

p Num. 21, 23

5 A rhydd yr Arglwydd hwynt o'ch blaen chwi, gwnewch chwithau iddynt hwy yn ol yr* holl orchymynnion y rhai a orchymynnais i chwi.

* Pen. 7, 12

6 [q] Ymgadarnhewch, ac ymnerthwch, nac ofnwch, ac na ddychrynnwch rhacddynt, canys yr Arglwydd dy Dduw sydd yn myned gyd a thi: ni'th edu efe di, ac ni'th wrthit.

q 1 Cor. 16, 13 Sal. 27, 14 Diar. 28, 17 Ios. 14, 25 1 Cron. 28, 19 Heb. 13, 5

7 Galwodd Moses hefyd ar Iosuah, a dywedodd wrtho ef yng-olwg holl Israel: Ymgadarnhâ, ac ymnertha: canys ti a ddygi y bobl ymma i'r tir yr hwn a dyngodd yr Arglwydd wrth eu tadau hwynt ar ei roddi iddynt, a thi ai rhenni yn etifeddiaeth iddynt.

8 Yr Arglwydd hefyd sydd yn myned o'th flaen di, efe a fydd gyd a thi, ni'th edy, ac ni'th wrthit, nac ofna, ac na lwfrhâ.

9 [r] A Moses a scrifennodd y gyfraith hon, ac ai rhoddes at yr offeiriaid meibion Lefi, arweinwŷr Arch cyfammod yr Arglwydd, ac at holl [s] henuriaid Israel.

r Pen. 17, 18 Mal. 2, 7 Ex. 19, 7 Num. 11, 16 s Heb. 9, 4 Mic. 3, 11

10 A Moses a orchymynnodd iddynt gan ddywedyd, Yn ol [pob]* saith mlynedd, ar yr amser nodedic, [t] ar flwyddyn y gollyngdod, ar ŵyl y pebyll:

* Pen. 15, 1 Neh. 8, 18 t Lef. 23, 34 Pen. 16, 13

11 [u] Pan ddelo holl Israel i ymddangos gerbron yr Arglwydd dy Dduw yn y lle'r hwn a ddewiso efe, y darllenni y gyfraith hon, o flaen holl Israel lle y clywant.

u Pen. 16, 2 Neh. 8, 2 a 4

12 [v] Cynnull y bobl, y gwŷr, y gwragedd, a'r plant, a'th dieithr [ddyn] yr hwn [fydd] o fewn dy byrth, fel y gwrandawant, ac fel y dyscant, ac yr ofnant yr Arglwydd eich Duw: ac yr edrychant am wneuthur holl eiriau y gyfraith hon.

v Ex. 12, 27

13 [w] Ac fel y clywo ac y dysco eu meibion hwynt, (y rhai ni wyddant) ofni'r Arglwydd eich Duw yr holl ddyddiau y rhai y byddoch byw ar y ddaiar yr hon yr ydych yn myned iddi tros yr Iorddonen iw gorescyn.

w Pen. 32, 1

14 [x] A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Wele dy ddyddiau a ddaethant i farw, galw Iosuah, a sefwch ym mhabell y cyfarfod, fel y rhoddwyf orchymynnion iddo ef: yna'r aeth Moses, ac Iosuah, ac a safasant ym mhabell y cyfarfod.

x Num. 27, 13 Ioan

15 [y] A'r Arglwydd a ymddangosodd yn y

y Ex. 33

babell mewn colofn niwl, a'r golofn niwl a safodd
ar ddrws y babell.
Esa.57, 16 ᵃ Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Mo-
Gen.25,8 ses, Wele di ar orwedd gyd a'th dadau, a'r bobl
Num.16, ymma a gyfyd ac a butteiniant ar ol duwiau
x. 34, dieithriaid y tir yr hwn y maent hwy yn myned
Lef.20,5 i mewn iddo, ac a'm gwrthyd i, ac a ddiddyma
fyng-hyfammod yr hwn a wneuthum ag ef.
Neh. 9, 17 ᵃ A'm dig a enyn yn eu herbyn y dydd
hwnnw, ac mi ai gwrthodaf hwynt, ac a gudd-
iaf fy wyneb oddi wrthynt: yna y bwyttehr ef,
a drygau lawer a chyfyngderau a ddigwydd-
ant iddo ef, a'r dydd hwnnw y dywed efe, Onid
am nad [yw]'r Arglwydd yn fy mysc y dig-
wyddodd y drwg hwn i mi?
18 Canys myfi gan guddio a guddiaf fy wy-
neb y dydd hwnnw, am yr holl ddrygioni'r hyn
a wnaeth efe, pan drodd at dduwiau dieithr.
Sal.38, 19 ᵇ Scrifennwch yr awran gan hynny i chwi
2 . 4,15 y gân hon, dysc hi hefyd i feibion Israel, [a]
Num.14, gosot hi yn eu genau hwynt, fel y byddo y gân
hon yn dŷst i mi yn erbyn meibion Israel.
Pen.32, 20 ᶜ Canys dygaf ef i dir yn llifeirio o laeth a
Neh.9,25 mel, yr hwn a addewais trwy lŵ i'w dadau ef:
fel y bwyttu, ac y digoner, ac yr elo yn frâs; ond
efe a drŷ at dduwiau dieithr, ac ai gwasanaetha
hwynt, ac a'm dirmyga fi, ac a ddiddymma
fyng-hyfammod.
Sal.139, 21 ᵈ Yna pan ddigwyddo iddo ddrygau lawer,
Ioan.28 a chyfyngderau, y bydd i'r gân hon dystiolaethu
1 29,18 Num.1,23 yn dŷst yn ei wyneb ef: canys nac anghofier hi
m.6,5 o enau ei hâd ef, o herwydd mi a adwen ei
r. 20, amcan ef, yr hwn y mae efe yn ei wneuthur
heddyw, cyn dwyn o honofi ef i'r tir yr hwn a
addewais trwy lŵ.
22 Yna yr scrifennodd Moses y gân honno ar
y dydd hwnnw, ac ai dyscodd hi i feibion Israel.
Adn.8 23 ᵉ Gorchymmynodd efe hefyd i Iosuah fab
x.1,5 Nun, a dywedodd, * Ymgadarnhâ ac ymnertha,
1.7, 46 canys ti a arweini feibion Israel i'r tir yr hwn
1.13,5 trwy lŵ a addewais iddynt, a minne a fyddaf
gyd a thi.
24 A phan ddarfu i Moses scrifennu geiriau y
gyfraith hon ar lyfr hyd ei diwedd,
Num 4, 25 ᶠ Yna y gorchymynnodd Moses i'r Lefiaid
10,11 y rhai oeddynt yn dwyn arch cyfammod yr
Cron. 2 Arglwydd, gan ddywedyd:
1.3,6,7 26 ᵍ Cymmerwch lyfr y gyfraith hon, a gosod-
1, 12 Bren.8, wch ef ar ystlys arch cyfammod yr Arglwydd
eich Duw, a bydded yno yn dŷst i'th erbyn.
1 Bren. 8 27 ʰ Canys mi a adwen dy wrthnyssigrwydd
Esa.48, a'th wargaledrwydd, wele a'm fi etto yn fyw
x. 32,9, gyd a chwi heddyw, gwrthryfelgar yn erbyn yr
Act.7,51 m. 9,7 Arglwydd fuoch, a pha faint fwy [y byddwch]
wedi fy marw?
28 ⁱ Cesclwch attaf holl henuriaid eich llwyth-
Pen.20, 19 au, a'ch swyddogion, fel y llefarwyf yr holl
eiriau hyn lle y clywant hwy, ac y cymmerwyf
yn dystion yn eu herbyn hwynt y nefoedd a'r
ddaiar.
29 ʲ Canys gwn mai wedi fy marw gan lygru j Act.20, 30
y llygrwch, ac y ciliwch o'r ffordd yr hon a Ios.24,31
orchymmynais i chwi, ac y digwydda i chwi Gen.5,12 Lef. 26,
ddrygioni yn y dyddiau diweddaf, am y 15 Pen. 28,
gwnewch ddrygioni yng-olwg yr Arglwydd, gan 15
ei ddigio ef yng-weithredoedd eich dwylo.
30 A llefarodd Moses lle y clybu holl gyn-
nulleidfa Israel eiriau y gân hon hyd ei diwedd.

## PEN. XXXII.

1 *Cân yn cynnwys daioni Duw i Israel.* 15 *Eu hanniolch-garwch hwythau.* 20 *Ai coepedigaeth.* 44 *Moses yn cynghori y bobl i gadw y gyfraith, ai dyscu iw plant.* 48 *Duw yn rhybyddio Moses am ei farwolaeth.*

YMWRANDEWCH ᵏ y nefoedd, a llefaraf: k Esa.1,2
clywed y ddaiar eiriau fyng-enau.
2 ˡ Fy athrawiaeth a ddefnynna fel glaw, fy l Mic. 5,7
ymmadrodd a ddifera fel gwlith: fel gwlith-law Sal.72,6,
ar îr-wellt, ac fel cafodau ar lyssiau.
3 ᵐ Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddafi, m Iudas. 25
rhoddwch fawredd i'n Duw ni:
4 ⁿ Y Duw sydd berffaith ei weithred, canys ei n 2 Sam. 22, 2
holl lwybrau ydynt gyfiawn: Duw ffyddlon ac Sal. 92,4
heb anwiredd, cyfiawn ac iniawn yw efe. a 192,15
5 ᵒ Y genhedlaeth ŵyroc a throfaus a ymlyg- o Esa. 48, 16
rodd yn ei erbyn ef trwy eu bai, heb [fod] yn Gal.3,19
blant iddo ef.
6 ᵖ Ai i'r Arglwydd y telwch hyn bobl ynfyd p Sal. 116 12, 13.
ac angall? ond efe [yw] dy dad [a'th] bryn-wr? 1 Pedr.1, 2
efe a'th wnaeth ac a'th ffyrfiodd. 1 Cor. 6,
7 ᑫ Cofia ddyddiau tragywyddoldeb, deallwch 20. q Sal. 44,
flynyddoedd cenhedlaeth a chenhedlaeth, gofyn 1, 2.
i'th dad, efe a fynega i ti, i'th henuriaid, ac hwy
a ddywedant wrthit.
8 ʳ Pan gyfrannodd y Goruchaf etifeddiaeth y r Pen.2,5
cenhedloedd, pan ddosparthodd efe feibion Num. 31 13
Adda, y gosododd efe derfynau y bobloedd yn
ol rhifedi meibion Israel.
9 ˢ Canys rhan yr Arglwydd [yw] ei bobl ef, s Ex.19, 5
Iacob [yw] rhan ei etifeddiaeth ef.
10 ᵗ Efe ai cafodd ef mewn tir anialwch, ac t Num.14 22
mewn gwag udfa ddiffaethwch; yr amgylchodd Pen 8,15
efe ef, ac y parodd iddo ddeall, ac y cadwodd ef Ezec.20, 35
fel canwyll ei lygad. Ier. 2, 6
11 ᵘ Fel y cyfyd eryr ei nŷth, y castella dros ei Eph.2,12 Sal.17, 8
gywion, y lleda ei escill, y cymmer ef, ac yr Zec. 2, 8 u Ex. 19, 4
arwain ef ar ei adenydd: Esa. 40, 11
12 ᵛ [Felly] yr Arglwydd yn unic ai harwein-
iodd yntef, ac nid [oedd] duw dieithr gyd ag ef. v Esa. 43, 11
13 ʷ Gwnaeth iddo farchogaeth ar uchelder y Sal.78,14
ddaiar, a bwytta cnwd y maes, ac iddo sugno w Pen. 1, 28 Esa. 58, 14
mel o'r graig, ac olew o'r graig gallestr.
14 ˣ Ymenyn gwarthec, a llaeth defaid, yng- x Esa.65, 2
hyd a brasder ŵyn, a hyrddod meibion Basan, Dat. 14, 19
a bychod, yng-hyd a brasder grawn gwenith, a

phur-waed grawnwin a yfaist.
y Pen.33, 5 15 y A'r inion a aeth yn frâs, ac a wingodd,
Esa.44,2 brasseaist, tewychaist, pwyntiaist: gwrthododd
Neh.9,25 1Sam. 2, hefyd Dduw yr hwn ai gwnaeth, a diystyrodd
29 graig ei iechydwriaeth.
z Pen. 4, 16 z A dieithr [dduwiau] y gyrrasant eiddigedd
24 2Cor. 11, arno, â ffiaidd-dra y digiasant.
15 17 Aberthasant i gythreuliaid, nid [i] Dduw,
[ond i] dduwiau [y rhai] nid adwaenent, [duwiau]
newydd a ddaethant o agos, [y rhai] nid ofnodd
eich tadau.
a Ier. 2, 18 a Y Duw a'th genhedlodd a anghofiaist di,
32 a'r Duw a'th luniodd a ollyngaist ti tros gof.
19 Yna y gwelodd yr Arglwydd, ac a gyffroi-
wyd gan ddig [wrth] ei feibion ai ferched.
b Sal. 27, 20 b Ac a ddywedodd, Cuddiaf fy wyneb oddi
9 wrthynt, edrychaf beth [fydd] eu diwedd hwynt:
canys cenhedlaeth drofaus [ydynt] hwy, meibion
heb ffyddlondeb ynddynt.
c 1Cor. 8, 4,5. a 10, 21 c Hwynt a yrrasant eiddigedd arnaf â'r
19 [peth] nid [oedd] dduw, digiasant fi âi hoferedd:
Rhuf. 11, 14 minne* a yrraf eiddigedd arnynt â'r [rhai] nid
d Amos 2, [ydynt] bobl: â chenedl ynfyd y digiaf hwynt.
Mal. 4, 1, 22 d Canys tân a gynneu yn fy nig, ac a lysc
2 hyd uffern isod, ac a ddifa y tir ai gynnyrch, ac
a wna i sylfeini y mynyddoedd fflaglu.
e Zec 9,5 Ezec. 5, 23 e Casclaf ddrygau yn eu herbyn, treuliaf
16 fy saethau arnynt.
Sal. 91,5 Lef. 26, 24 Lloscedic [fyddant gan] newyn, ac wedi eu
22 Gen. 3, 1 bwytta gan wrês, a chwerw ddinistr, anfonaf
Ezec. 14, hefyd arnynt ddaint anifail, yng-hyd a chyn-
21 ddaredd seirph daiarol.
25 Oddi allan y diddymma y cleddyf, ac o'r
stafelloedd ofn, yn gystal y gŵr ieuangc a'r we-
ryf: y plentyn sugno yng-hyd a'r gŵr brig-lwyd.
26 Dywedais gwascaraf hwynt, paraf iw coff-
adwriaeth ddarfod o fysc dynnion.
f Ezec. 20 27 f Oni bai im ofni dig y gelyn, rhac ymddi-
13 Sal. 140,8 eithro oi gwrthwynebwyr hwynt, [a] rhac dy-
wedyd o honynt, Ein llaw uchel ni, ac nid yr
Arglwydd a wnaeth hyn oll.
28 g Canys cenhedlaeth golledig [am] gynghor-
g Ier. 4, 22 ion ydynt hwy, ac heb ddeall ynddynt.
h Sal 107, 43 29 h O na baent ddoethion, na ddeallent hyn,
Galar 1,9 na ddeallent eu diwedd eu hun.
i Lef. 26,7 30 i Pa fodd yr ymlidie un fil? ac y gyrre
Sal. 44,12 dau fyrddiwn i ffoi? ond am eu gwerthu oi Duw
hwynt, a chaeu o'r Arglwydd arnynt.
j Sal. 115, 3 31 j Canys nid fel ein Duw ni [y mae] eu duw
Num. 23, hwynt. a'u gelynion [fyddant] farn-wŷr.
8 k Esa. 1, 32 k Canys o win-wydden Sodom, ac o feusydd
10 Gomorra [y mae] eu gwin-wydden hwynt, eu
grawn-win hwynt [ydynt] rawn-win bustlaidd,
l Tim 4, chwerw wrysc grawn-win [sydd] iddynt.
1 33 l Gwenwyn dreigiau [yw] eu gwin hwynt,
Can. 4,10 m Iob 14, a chreulon wenwyn aspiaid.
17 a 33, 16 34 n Onid yw hyn yng-hudd gyd a'm fi, wedi
ei selio ym mysc fy nhrysorau?
35 o I mi [y perthyn] dial, o a thalu y pwyth, o Rhuf. 12, 19
mewn pryd y llithria eu troed hwynt, canys o Gen. 15, 16
agos yw dydd eu trychineb, a phryssuro y mae Sal. 17, 4 2 Petr. 2, 3
yr hyn a barattoiwyd iddynt.
36 p Canys yr Arglwydd a farna ei bobl, ac a p Amos 7, 3
dosturia wrth ei weision, pan welo ymado y
nerth, ac nad [oes] na gwarchaedic na gwe-
ddilledic.
37 q Ac efe a ddywed, Pa le [y mae] eu duwiau q Barn. 10, 14
hwynt, [a'r] graig yr ymddiriedasant ynddi?
38 r Y rhai y bwyttasant frasder eu haberthau, r Hos. 2, 13
[ac] yr yfasant win eu diod offrwm, codant a
chynnorthwyant chwi, a byddant loches i chwi.
39 s Gwelwch bellach mai myfi, myfi [yw] efe, s Esa. 41, 4
ac nad oes duw onid myfi: myfi sydd yn lladd 25 1Sam. 2, 6
ac yn bywhau: myfi a archollaf, ac mi a fe- Dan. 4, 35
ddiginiaethaf, ac ni bydd a achubo o'm llaw.
40 t Canys codaf fy llaw hyd y nefoedd, a dy- t Esa. 62, 8
wedaf: Mi a fyddaf fyw byth. Num. 14, 30
41 u Os hogaf fyng-hleddyf disclaer, ac ymafl- u Ades. 8
yd o'm llaw mewn barn, dychwelaf ddial ar Dat. 1, 16
fyng-elynnion, a thalaf y pwyth i'm caseion.
42 v Meddwaf fy saethau â gwaed, a'm cledd- v Esa. 49,
yf a fwyttu gig: am waed y lladdedig a'r caeth 26
o ddechreu dialeddau y gelyn. Ier. 46, 10 Dat. 19
43 w Y cenhedloedd cenwch [iw] bobl ef, canys w Rhuf. 15, 10
efe a ddial waed ei weision, ac a ddychwel ddial Dat. 6, 10
ar ei elynnion: ac a drugarha wrth ei dir, [ai] Sal. 85, 1
bobl ei hun.
44 x Yna y daeth Moses, ac a lefarodd holl x Sal. 18, 1
eiriau y gân hon lle y clybu y bobl: efe ac Io- Num. 13, 17
suah mab Nun. Pen. 31, 14
45 A darfu i Moses lefaru'r holl eiriau hyn,
wrth holl Israel:
46 y A dywedodd wrthynt, Meddyliwch yn y Pen. 6, 6
eich calonnau am yr holl eiriau y rhai yr ydwyfi Ezec. 40, 4 a 44, 5
yn eu testiolaethu wrthych chwi heddyw, y rhai
a orchymynnwch i'ch plant, i edrych am wneu-
thur holl eiriau y gyfraith hon.
47 a Canys nid gair ofer yw hwn oddi wrthych a Sal. 19, 11
chwi, o herwydd eich einioes chwi [yw] efe: a Rhuf. 10, 5
thrwy y gair hwn yr estynnwch ddyddiau yn y
tir yr hwn yr ydych yn myned iddo tros yr
Iorddonen iw oresgyn.
48 b A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses b Num. 27, 12
yng-horph y dydd hwnnw, gan ddywedyd,
49 c Escyn i'r mynydd Abarim hwn, [sef] my- c Pen. 3, 27
nydd Nebo, yr hwn [sydd] yn nhir Moab ar gyfer Num. 27, 12
Iericho: ac edrych wlad Canaan yr hon yr yd-
wyfi yn ei rhoddi i feibion Israel yn etifeddiaeth.
50 d Canys byddi farw yn y mynydd yr hwn d Gen. 25, 8
yr escynni iddo, a thi a gesclir at dy bobl: megis Num. 20, 25
y bu farw Aaron dy frawd ym mynydd Hor,
ac y casglwyd ef at ei bobl.
51 e O herwydd gwrthryfelasoch i'm herbyn e Num. 20, 11
yn mysc meibion Israel wrth ddyfroedd cynnen Lef. 10

Cades [yn] anialwch Zin: o blegit ni'm sanct-
aiddasoch ym mhlith meibion Israel.
Heb.11, 52 [f] Canis y wlad a gei di ei gweled ar [dy]
gyfer, ac yno nid ei i'r tir, yr hwn yr ydwyfi yn
[ei] roddi i feibion Israel.

## PEN. XXXIII.

*Moses yn bendithio y bobl cyn ei farw. 26 Ac yn dangos rhagoriaeth Duw a rhagoriaeth ei bobl ef.*

ien.27 AC [g] dymma y fendith [drwy] 'r hon y ben-
dithiodd Moses (gŵr Duw) feibion Israel
o flaen ei farwolaeth.
Gal.4, 2 [h] Ac efe a ddywedodd, Yr Arglwydd a
n.2,4 ddaeth allan o Sinai, ac a gododd o Seir iddynt,
n.21, ymlewyrchodd o fynydd Pharan: ac efe a ddaeth
gyda myrddiwn o sainct [a] thanllyd gyfraith oi
ddeheulaw iddynt.
am.5, 3 [i] Caru y mae efe y bobl, ei holl sainct [ydynt]
1.34,4 yn dy law: a hwynt a ymlynasant wrth dy draed
[ac] a gymmerasant o'th eiriau.
ar.2,1
d.119, 4 [j] Moses a orchymynnodd gyfraith i ni yn
etifeddiaeth cynnulleidfa Iacob.
5 Ac efe oedd [fel] brenin yn Israel, pan ymgas-
clodd pennau y bobl yng-hyd [a] llwythau Israel.
en.49 6 [k] Bydded fyw Ruben, ac na fydded farw, a
bydded ei ddynion [ychydig o] rifedi.
um.10 7 [l] [Bydded] hyn hefyd i Iuda, a dywedodd,
n.7,13 Clyw O Arglwydd lais Iuda, ac at ei bobl dwg
n.49,8 ef, digon yw iddo ei ddwylo ei hun, os byddi yn
gymmorth rhac ei elynion.
Ex.28 8 [m] Ac am Lefi y dywedodd, Dy Thummim,
n.49, a'th Urim [a roddaist] i'th ŵr trugarog yr hwn
10,2 a brofaist ym Massa, [ac] a gynhennaist ag ef
wrth ddyfroedd y gynnen,
f.21, 9 [n] Yr hwn a ddywedodd am ei dâd, ac am ei
10,2
.32, fam (ni welais ef) ai frodyr nis adnabu, ac nid
adnabu ei feibion ei hun: canys cadwasant dy
eiriau, a chynhaliasant dy gyfammod.
ze.44, 10 [o] Dyscant dy farnedigaethau i Iacob, a'th
on.8, gyfraith i Israel: gosodant arogldarth yn dy
ffroen, a llosc-aberth ar dy allor.
zec. 11 [p] Bendithia O Arglwydd ei olud ef, a bydd
27
n.16, fodlon i waith ei ddwylo ef: archolla lwynau [y
rhai] a godant i'w erbyn, ai gaseion fel na chodant.
os.18, 12 [q] Am Beniamin y dywedodd efe, Anwylyd
.91,1 yr Arglwydd a drig mewn diogelwch gyd ag ef,
m.34, yr hwn fydd yn cyscodi trosto yr holl ddydd,
ac yn aros rhwng ei escwyddau ef.
Cron.5 13 [r] Ac am Ioseph y dywedodd efe, Ei dir ef
n.24, sydd wedi ei fendigo o'r Arglwydd â hyfrydwch
n.27, y nefoedd, â gwlith, ac â dyfnder yn gorwedd isod.
14 Hefyd â hyfrydwch cynnyrch yr haul, ac
â hyfrydwch addfed-ffrwyth y lleuadau.
ab.3,6 15 [s] Ac â [hyfrydwch] penn mynyddoedd y
dwyrain, ac â hyfrydwch brynnau tragywydd-
oldeb.
al.24,1 16 [t] Ac â hyfrydwch y ddaiar, ac ai chyflawn-
ar2,14
a.3,2 der, a bodd presswylydd y berth a ddelo ar
benn Ioseph, [*] ac ar gorun yr hwn a naillduwyd *Gen.49, 26
oddi wrth ei frodyr.
17 [u] Cyntafanedic ei ŷch ef [fydd] brydferth- u Num. 23, 22
wch iddo, ai gyrn ef [ydynt] gyrn unicorn, â Sal.44,5
hwynt y cornia efe y bobl yng-hyd [hyd] eithaf- Gen.48, 19
oedd y ddaiar: ac dymma fyrddiwn Ephraim,
ie dymma filoedd Manasses.
18 [v] Ac am Zabulon y dywedodd efe, ymla- vGen.49, 13
wenycha Zabulon yn dy fynediad allan, a [thi]
Issachar yn dy bebyll.
19 [w] Galwant bobloedd i'r mynydd, yna'r wEsa.2, 3
aberthant ebyrth cyfiawnder: canys cyfoeth y
moroedd a sugnant, a chuddiedic dryssorau y
tywod.
20 [x] Ac am Gad y dywedodd efe, Bendigedic xGen.49, 11
yw ehangydd Gad, megis llew y mae efe yn
aros, fel y rhwygo efe yr ysgwyddoc a'r penn.
21 [y] Edrychodd am dano ei hun yn y dech- y Num. 32, 1
reuad, canys yno ['r ydoedd] ran y cyfraith-wr
yn guddiedic, efe a ddaeth [gyd] a phennaeth-
iaid y bobl, gwnaeth efe gyfiawnder yr Ar-
glwydd, ai farnedigaethau gyd ag Israel.
22 [z] Am Dan hefyd y dywedodd efe, Dan z Ios.19, 47
yn genew llew a neidia o Basan. Barn.18, 27
23 [a] Ac am Nephthali y dywedodd efe, O a Mat.4, 13 a 9,1
Nephthali llawn o hawddgarwch, a chyflawn Luc 5,1.
o fendith yr Arglwydd: gorescyn di y gorlle-
wyn a'r dehau.
24 Ac am Aser y dywedodd efe, Bendigedic o
feibion [fydd] Aser: bydd efe gymmeradwy
[gan] ei frodyr, ac efe a wlych ei droed mewn
olew.
25 Haiarn a phrês [a fyddant] dan dy escid ti:
ac megis dy ddyddiau [y bydd] dy nerth.
26 [b] Nid [oes] megis Duw Israel yr hwn sydd b Ier.10, 6
yn [c] marchogaeth y nefoedd, yn gymmorth it: c Sal.68, 34
a'r wybrennau yn ei fawredd. a 68, 33
27 [d] [Dy] noddfa [yw] Duw tragywyddol, a d Sal 91.1 a 55,17
thann freichiau tragywyddol [y byddi fyw,] efe Can.2,6
a wthia dy elyn o'th flaen, ac a ddywed, Difetha
[ef.]
28 [e] Israel hefyd a drig ei hun yn ddiogel, e Num 23, 9
ffynnon Iacob [a fydd] mewn tir ŷd a gwin: ei Sal.104, 10
nefoedd hefyd a ddiferant wlith. Gen.27, 28
29 [f] Gwynfydedic wyt ti O Israel, pwy [sydd] f 2Sam.7, 23
megis ti? O bobl gadwedic gan yr Arglwydd,
tarian dy gynhorthwy, yr hwn hefyd [yw] cledd- Ier.23,6 Dat.1,16
yf dy arddercha wgrwydd: a'th elynion a ym- Eph.6,17
ostyngant i ti, a thi a sethri ar eu huchel leoedd
hwynt.

## PEN. XXXIV.

*Moses wedi gweled gwlad Canaan yn marw. 8 Israel yn wylo am dano. 9 Iosuah yn cael ei swydd ef. 10 Clod Moses.*

YNA [g] Moses a escynnodd o rossydd Moab, g Pen.32, 49
i fynydd Nebo, [i] ben y brynn yr hwn Num.32, 37
[sydd] ar gyfer Iericho; a'r Arglwydd a [h] ddaug- h Dat.21, 10
osodd iddo holl wlad Gilead, hyd Dan. Ezec.40, 2

2 A holl Nephthali, a thir Ephraim, a Ma-
nasses, a holl dir Iuda, hyd y môr olaf.
3 Y dehau hefyd, a gwastadedd dyffryn Ieri-
cho, dinas y palm-wydd hyd Zoar.
iZec 2,12 Esa. 8, 8 4 [i] A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Dym-
Gen.12,7 ma y tir yr hwn a dyngais i Abraham, i Isaac,
a 22, 16 ac i Iacob, gan ddywedyd, I'th hâd ti y rhoddaf
jGen. 12, 6 ef, perais it [j] ei weled â'th lygaid, ond nid ei di
Heb 11,9 Num.20, trosodd yno.
12 kIos. 1,2 5 [k] A Moses gwas yr Arglwydd a fu farw yno
Num 20, yn nhir Moab, yn ol gair yr Arglwydd.
28 lIudas 9 6 [l] Ac efe ai claddodd ef mewn glynn yn nhir
Moab, gyferbyn a Beth-Peor: ac nid adnabu neb
ei fedd ef hyd y dydd hwn.
mGen.27 7 [m] A Moses [ydoedd] fab ugain mlwydd a
1 chant, pan fu efe farw, ni chrychase ei lygad,
ac ni chiliase ei ireidd-dra ef.
nNum 18 8 [n] A meibion Israel a ŵylasant am Moses yn
20 rhossydd Moab ddeng-nhiwrnod ar hugain:
a chyflawnwyd dyddiau wylofain galar Moses.
9 [o] Ac Iosuah mab Nun [ydoedd] gyflawn o
yspryd doethineb, o herwydd Moses a roddase
ei ddwylo arno: a meibion Israel a wrandaw-
sant arno, ac a wnaethant fel y gorchymyn-
nase'r Arglwydd wrth Moses.
10 [p] Ac ni chododd prophwyd etto yn Israel
megis Moses (yr hwn a adnabu'r Arglwydd
wyneb yn wyneb.)
11 Ym mhob [rhyw] arwyddion a rhyfeddod-
au y rhai yr anfonodd yr Arglwydd ef i'w
gwneuthur yn nhir yr Aipht, ar Pharao, ac ar
ei holl weision, ac ar ei holl dir ef.
12 [q] Ac ym mhob llaw gadarn, ac ym mhob
ofn mawr, y rhai a wnaeth Moses yng-olwg
holl Israel.

---

# LLYFR IOSUAH.

## PEN. I.

*Yr Arglwydd yn gyrru Iosuah yn flaenor ar Israel i wlad Canaan, ac yn addo ei gynnorthwyo ef. 11 Iosuah yn gorchymyn i'r bobl ymbaratoi i fyned tros yr Iorddonen, ac yn annog y Rubeniaid i'w helpio hwynt.*

aRhuf 1, 1 AC [a] wedi marwolaeth Moses gwas yr Ar-
1Bren 19 glwydd, y llefarodd yr Arglwydd wrth Io-
16 suah fab Nun, gweinidog Moses, gan ddywedyd,
b Deut 34, 24, 2 [b] Moses fyng-was a fu farw: gan hynny cyfot
yn awr dôs tros yr Iorddonen hon, ti a'r holl
bobl hyn i'r wlad yr hon yr ydwyfi yn [ei]
rhoddi iddynt hwy meibion Israel.
cSal 12,6 Tit 1, 2 3 [c] Pob man a'r a sango gwadn eich troed chwi
ynddo a roddaisi chwi: fel y lleferais wrth Moses.
dEx.16 1 *Pen 13, 4 [d] * O'r anialwch, a'r Libanus ymma, hyd yr
5 Deut 1, afon fawr [sef] afon Euphrates, holl wlad yr
18,a11,24 Hethiaid, hyd y * môr mawr tua machludiad yr
eGen 15. 8 haul, fydd eich terfyn chwi.
Num 34, 16 5 [f] Ni saif neb o'th flaen di holl ddyddiau dy
fHeb 13, enioes: megis y bum gyd a Moses y byddaf gyd
5 Esa 43, 1 a thithe, ni'th adawaf, ac ni'th wrthodaf.
g1Cor 16 13 6 [g] Ymwrola ac ymegnia: canys ti a wnei i'r
bobl hyn etifeddu y wlad yr hon a dyngais wrth
eu tadau ar [ei] rhoddi iddynt.
hSal 119, 7 [h] * Yn unic ymwrola, ac ymegnia yn lew, i
6 gadw ar wneuthur yn ol yr holl gyfraith yr hon
Gal 2, 14 Diar4,27 a orchymynnodd Moses fyng-was i ti, * na og-
*Deut 5, 32 a 31, 7 wydda oddi wrthi ar y llaw ddehau, nac ar y
llaw asswy: fel y ffynnech i ba le bynnac yr
elech.
8 [i] Nac ymadawed * llyfr y gyfraith hon o'th
enau, eithr myfyria ynddo ddydd a nos, fel y
cedwech ar wneuthur yn ol yr hyn oll sydd
scrifenedic ynddo: canys yna y llwyddi yn dy
ffyrdd, ac yna y ffynni.
9 Oni orchymynnais it [gan ddywedyd?] Ym-
wrola ac ymegnia, nac arswyda, ac na russa:
* canys yr Arglwydd dy Dduw [sydd] gyd a
thi i ba le bynnac yr elech.
10 [k] Yna Iosuah a orchymynnodd i lywod-
raeth-wŷr y bobl, gan ddywedyd,
11 [l] Trammwywch drwy ganol y llu, a gorchy-
mynnwch i'r bobl, gan ddywedyd, Paratoiwch i
chwi lynniaeth: canys ym mhen y tri-diau y by-
ddwch chwi yn myned tros yr Iorddonen hon i
ddyfod i orescyn y wlad yr hon y mae'r Arglwydd
eich Duw yn [ei] rhoddi i chwi i'w meddiannu.
12 Wrth y Rubeniaid hefyd, ac wrth y Gadiaid,
ac wrth hanner llwyth Manasses y llefarodd
Iosuah, gan ddywedyd,
13 Cofiwch y * gair yr hwn a orchymynnodd
Moses gwas yr Arglwydd i chwi, gan ddywedyd,
Yr Arglwydd eich Duw sydd yn esmwythau
arnoch, ac a roddodd i chwi y wlad hon.
14 [m] Eich gwragedd, eich plant, a'ch anifeiliaid
a drigant yn y wlad yr hon a roddodd Moses i
chwi o'r tu ymma i'r Iorddonen: ac ewch chwi-
thau trosodd yn arfogion o flaen eich brodyr, y
sawl [ydych] gedyrn o nerth, a chynnorthwywch
hwynt.

hil 2,8 or 12, 15 ᵃ Nes rhoddi o'r Arglwydd lonyddwch i'ch
brodyr fel i chwithau, a gorescyn o honynt hwy
hefyd y wlad yr hon y mae'r Arglwydd eich
Duw yn ei rhoddi iddynt: yna dychwelwch i
wlad eich etifeddiaeth, a meddiannwch hi, yr hon
a roddodd Moses gwas yr Arglwydd i chwi o'r
tu ymma i'r Iorddonen, tu a chodiad yr haul.
ph 6,1 2, 17 uf 13, 16 ᵒ Yna'r attebasant Iosuah gan ddywedyd,
Gwnawn yr hyn oll a orchymynnaist i ni, awn
or 11, hefyd at beth bynnac yr anfonech ni.
dn 5 uf 8, 17 ᵖ Fel y gwrandawsom ar Moses [ym] mhob
peth, felly y gwrandawn arnat tithe: yn unic
bydded yr Arglwydd dy Dduw gyd a thi, megis
y bu gyd a Moses.
eb 10, 18 ᑫ Pwy bynnac a anufyddhao [air] dy enau,
or 11, ac ni wrandawo ar dy ymadroddion yn yr hyn
m 10,4 oll a orchymynnech iddo, rhodder ef i farwol-
aeth: yn unic ymwrola ac ymegnia.

## PEN. II.

*Rahab yn derbyn iw thŷ y rhai a yrrase Iosuah i edrych ansodd y wlad. 14 Eu haddewid hwythau i Rahab.*

om 1 YNA Iosuah mab Nun a anfonase o * Sittim
ddau ŵr i chwilio yn ddirgel, gan ddywed-
yd, Ewch, edrychwch y wlad, ac Iericho [hefyd:]
b. 11 a hwynt a aethant, ac a ddaethant i dŷ * puttein-
ot. 25 wraig, ai henw Rahab, ac a orphywysasant yno.
15,1 127, 2 ʳ A mynegwyd i frenin Iericho, gan ddywed-
r. 21, yd, Wele, gwŷr a ddaethant yma heno o feibion
Israel i chwilio y wlad.
1,17 3 ˢ Yna brenin Iericho a anfonodd at Rahab,
gan ddywedyd, Dwg allan y gwŷr a ddaethant
attat ti, y rhai a ddaethant i'th dŷ di, canys i
chwilio'r holl wlad y daethant.
t. 12, 4 ᵗ Ond y wraig a gymmerase y ddau ŵr ac ai
u. 14, cuddiase hwynt: am hynny hi a ddywedodd fel
2,3 hyn: Y gwŷr a ddaethant attafi, ond ni wyddwn
i o ba le [y daethent] hwy.
a. 33 5 ᵘ A phan gaewyd y porth yn y tywyllwch,
yna y gwŷr a aethant allan, ni wn i ba le'r aeth
y gwŷr: canlynwch yn fuan ar eu hol hwynt,
canys chwi ai goddiweddwch hwynt.
eut 6 ᵛ Ond hi a barase iddynt ddringo i nenn y tŷ:
1,17 ac ai cuddiase hwynt mewn bolldeidiau llîn y
5,7 rhai oedd ganddi, wedi eu hysgafnu ar nenn y tŷ.
ar 21 7 ʷ A'r gwŷr a ganlynasant ar eu hol hwynt
tua'r Iorddonen hyd y rhydoedd: a'r porth a
agorwyd hwyn-gyntaf ac yr aeth y rhai oeddynt
yn erlid ar eu hol hwynt allan.
8 A chyn iddynt hwy gyscu: yna hi a ddring-
odd attynt hwy ar nenn y tŷ.
19,16 11,28, 9 ˣ A hi a ddywedodd wrth y gwŷr, Mi a wn
mai'r Arglwydd a roddodd i chwi y wlad, o
15, herwydd eich arswyd chwi a syrthiodd arnom
20,2 14,31 ni: canys holl drigolion y wlad a ddihoenasant
77,14 a. 21, rhac eich ofn.
m. 18 10 ʸ Canys ni a glywsom fel * y sychodd yr
Arglwydd ddyfroedd y môr coch o'ch blaen
Rhan V.

chwi, pan aethoch allan o'r Aipht: a'r hyn a
wnaethoch i ddau frenin yr Amoriaid y rhai
[oeddynt] tu hwnt yr Iorddonen, [sef] i * Sehon
ac Og, y rhai a ddifrodasoch chwi.
11 ᶻ Pan glywsom yna ein digalonnwyd fel na z Deut. 6, 16
safodd mwyach gyssur yn neb rhac eich ofn:
canys yr Arglwydd eich Duw sydd Dduw yn
y nefoedd oddi uchod, ac ar y ddaiar oddi isod.
12 ᵃ Yn awr gan hynny tyngwch attolwg wrthif a Diar. 18, 24
i'r Arglwydd, o herwydd i mi wneuthur trugar- 1 Sam. 20,
edd a chwi, y gwnewch chwithau hefyd drugar- 21 Pen 6, 25
edd â thylwyth fy nhad inne, ac y rhoddwch i
mi arwydd gwir;
13 Ac y cedwch yn fyw fy nhad, a'm mam fy
mrodyr hefyd, a'm chwiorydd, a'r hyn oll [sydd]
ganddynt: ac y gwaredwch ein henioes rhac
angeu.
14 ᵇ A'r gwŷr a ddywedasant wrthi: Ein hen- b 2 Tim. 1, 16
ioes [a roddwn] i farw drosoch, (os chwi ni Mat. 5, 7
fynegwch ein ymadrodd hyn) pan roddo'r Ar- 2 Sam. 9, 1
glwydd i ni y wlad hon, oni wnawn â chwi dru-
garedd a gwirionedd.
15 ᶜ Yna hi ai gollyngodd hwynt i wared wrth c Act. 9, 25
raff drwy y ffenestr, canys ei thŷ hi [oedd] o
fewn mûr y ddinas, ac yn y mûr yr oedd hi yn
trigo.
16 ᵈ A hi a ddywedodd wrthynt, Ewch i'r my- d Adn. 22
nydd rhac i'r erlidwŷr gyfarfod â chwi: ac ym- Preg. 9, 18
guddiwch yno dri-diau nes dychwelyd o'r erlid-
wŷr, ac wedi hynny ewch i'ch ffordd. e Ex. 20, 7
17 ᵉ A'r gwŷr a ddywedasant wrthi: Diniwed
[fyddwn] ni oddi wrth dy lŵ ymma [drwy] yr
hwn i'n tyngaist.
18 ᶠ Wele pan ddelom ni i'r wlad: rhwyma y f Act. 27, 24
llinin ymma o edyf goch yn y ffenestr yr hon y Gen. 7, 1
gollyngaist ni drwyddi; casgl hefyd dy dad, a'th Mat. 23, 37
fam, a'th frodyr, a holl dŷ-lwyth dy dad atat i'r
tŷ ymma.
19 ᵍ A phwy bynnac a'r a êl o ddrysau dy dŷ g Act. 27, 31
di allan, ei waed ef [fydd] ar ei benn ei hun, a Mat. 27, 25
ninnau yn ddiniwed: a phwy bynnac fyddo gyd Num. 35, 26
a thi yn tŷ [bydded] ei waed ef ar ein pennau
ni, o bydd llaw yn ei erbyn ef.
20 Ac os mynegi di ein ymadrodd hynn: yna
y byddwn ddiniwed oddi wrth dy lŵ [drwy] yr
hwn i'n tyngaist.
21 A hi a ddywedodd, Yn ol eich geiriau felly
[y byddo] hynny: yna hi ai gollyngodd hwynt,
a hwy a aethant ymmaith: a hi a rwymodd y
llinin coch yn y ffenestr.
22 ʰ Yna hwynt a aethant, ac a ddaethant i'r h 1 Sam 19, 10
mynydd, ac a arhosasant yno dri-diau nes i'r Sal. 8, 2
erlidwŷr ddychwelyd: a'r erlidwŷr ai ceisiasant a 22, 6, 7
ar hyd yr holl ffordd, ond nis cawsant.
23 Felly y ddau ŵr a ddychwelasant, ac a
ddescynasant o'r mynydd, aethant hefyd tro-
sodd, a daethant at Iosuah fab Nun: a myneg-
Y y

asant iddo yr hyn oll a ddigwyddase iddynt.
i Diar.25, 13 24 i A dywedasant wrth Iosuah, Yn ddiau 'r
Num.13, 32 Arglwydd a roddodd yr holl wlad yn ein dwylo
Pen. 1,8 ni: canys holl drigolion y wlad a ddihoenasant
rhac ein hofn ni.

## PEN. III.

*Dyfodiad Israel i gwrr yr Iorddonen. 13 Yr Iorddonen yn ymrannu, ac yn gollwng Israel trwodd ar dir sych.*

j Gen. 22, 3 YNA j Iosuah a gyfododd yn forau, a chy-
Sal. 119, 60 chwnnasant o Sittim, a daethant hyd yr
Pen.4,19 Iorddonen, efe a holl feibion Israel: a lletteuas-
ant yno cynn iddynt fyned trosodd.
k Pen. 1, 11 2 k Ac ym mhen y tri-diau y llywiawdwyr
drammwyasant drwy ganol y llu.
l Num. 4, 14 3 l A gorchymynnasant i'r bobl gan ddywed-
1 Cron. 15, 12 yd, Pan weloch chwi arch cyfammod yr Ar-
2 Sam.6,3 glwydd eich Duw a'r Lefiadaidd offeiriaid yn
1 Sam.6,7 ei dwyn hi: yna cychwnnwch chwi o'ch lle, ac
Ex. 13,21 ewch ar ei hol hi.
m Ex. 19, 12 4 m Etto bydded [ennyd] faith rhyngoch chwi
a hithe, yng-hylch dwy-fil o gufyddau wrth fe-
sur: na nessewch atti fel y gwypoch y ffordd yr
hon y rhodioch ynddi, canys ni thrammwyasoch
y ffordd [hon] o'r blaen.
*Lef. 20, 7 5 Ac Iosuah a ddywedodd wrth y bobl, * Ym-
Num. 11, 18 sancteiddiwch: canys y foru y gwna'r Arglwydd
1 Sam. 16, 5 ryfeddodau yn eich mysc chwi.
Pen.7,13 6 Iosuah hefyd a lefarodd wrth yr offeiriaid
n Ex. 19, 10 gan ddywedyd, Cymmerwch arch y cyfam-
Dat.6,16 mod, ac ewch trosodd o flaen y bobl: felly hwynt
Adn. 13, 15 a gymmerasant arch y cyfammod ac a aethant
o Num.4, 15 o flaen y bobl.
Dat.9,11 7 p Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Iosuah,
p 1 Sam.2, 30 Y dydd hwn y dechreuaf dy fawrhau di yng-
wydd holl Israel: fel y gwypant mai megis y
*Pen.1,5 bum * gyd a Moses y byddaf gyd a thithe.
q Ex.14,4 8 q Am hynny gorchymyn di i'r offeiriaid y
Esa.30,15 rhai ydynt yn dwyn arch y cyfammod, gan
ddywedyd: Pan ddeloch hyd gwrr dyfroedd yr
Iorddonen, sefwch yn yr Iorddonen.
r Deut.12, 8 9 r Yna Iosuah a ddywedodd wrth feibion Is-
rael: Nessewch ymma, a gwrandewch eiriau yr
Arglwydd eich Duw.
s Adn. 13. 10 s Iosuah hefyd a ddywedodd, Yn hyn y
Sal. 9, 15 cewch wybod fod y Duw byw yn eich mysc
Deut. 5, 25 chwi: a chan oresgyn y gorescyn efe y Canaan-
Ier.10,10 eaid, a'r Hethiaid, a'r Hefiaid, a'r Pheriziaid, a'r
1 Thes. 1, 9 Gergasiaid, yr Amoriaid hefyd, a'r Iebusiaid o'ch
Deut. 7, 1, 2 blaen chwi.
Sal. 44, 3
t Mic. 4, 13 11 t Wele arch cyfammod Arglwydd yr holl
Zec 4.14 fyd yn myned o'ch blaen chwi trwy'r Iorddonen.
u Pen. 4, 2, 3 12 u Gan hynny cymmerwch yn awr ddeu-
Num 34, 8 ddeng-wr o lwythau Israel: un gwr o bob llwyth.
v Adn.15 13 v A phan orphwyso gwadnau traed yr off-
eiriaid (y rhai ydynt yn dwyn arch Arglwydd
Ior yr holl fyd) yn nyfroedd yr Iorddonen, [yna]
dyfroedd yr Iorddonen a holltir, y dyfroedd y
rhai ydynt yn descyn oddi uchod [a droant yn
ol:] * ac a safant yn un pen-twr.
14 x Pan gychwnnodd y bobl oi pabellau i
fyned tros yr Iorddonen: yna yr offeiriaid oedd-
ynt yn dwyn * arch y cyfammod o flaen y bobl.
15 z A phan ddaeth y rhai oeddynt yn dwyn
yr arch hyd yr Iorddonen, a gwlychu o draed
(yr offeiriaid y rhai oeddynt yn dwyn yr arch)
yng-hwrr y dyfroedd (a'r * Iorddonen oedd ar-
ferol o lenwi dros ei thorlannau ei gyd holl
ddyddiau y cynhaiaf.)
16 y Yna y dyfroedd y rhai oeddynt yn descyn
oddi uchod a safasant, cyfodasant yn un pen-
twr ym mhell iawn oddi wrth y ddinas Adam
yr hon [sydd] o ystlys Zarthan, a'r [dyfroedd]
y rhai oeddynt yn descyn i fôr y rhôs [sef] i'r
môr heli a ddarfuant, ac a dorrwyd ymmaith:
felly y bobl a aethant trosodd ar gyfer Iericho.
17 a A'r offeiriaid y rhai oeddynt yn dwyn arch
cyfammod yr Arglwydd a safasant mewn sych-
der yng-hanol yr Iorddonen yn daclus: a holl
Israel oeddynt yn myned trosodd mewn sychder
nes darfod i'r holl genedl dreiddio yr Iorddonen.

## PEN. IV.

*Yr Arglwydd yn peri gosod deuddec o feini yn eu sefyll i ar-wyddoccau treiddiad meibion Israel trwy yr Iorddonen.*

A PHAN a ddarfu i'r holl genedl fyned trwy
yr Iorddonen: (canys * llefarase yr Ar-
glwydd wrth Iosuah, gan ddywedyd,
2 * b Cymmerwch i chwi ddeuddeng-wr o'r
bobl: un gwr o bob llwyth.
3 c A gorchymynnwch iddynt gan ddywedyd,
Cymmerwch i chwi oddi ymma, o ganol yr Ior-
ddonen, o'r fann y mae traed yr offeiriaid yn se-
fyll, y rhai ydynt yn daclus, ddeuddec o gerric: a
throsgludwch hwynt gyd a chwi, a chyfleuwch
hwynt yn y lle yr hwn y lletteuwch ynddo heno.)
4 Yna Iosuah a alwodd am y ddeuddeng-wr
y rhai a baratoase efe o feibion Israel: un gwr o
bob llwyth.
5 d A dywedodd Iosuah wrthynt, Ewch tros-
odd o flaen arch yr Arglwydd eich Duw drwy
ganol yr Iorddonen: a chodwch i chwi bob un
ei garrec ar ei yscwydd, yn ol rhifedi llwythau
meibion Israel.
6 e Fel y byddo hyn yn arwydd yn eich mysc
chwi: pan ofynno eich meibion chwi ryw amser
gan ddywedyd, Beth [y mae] y cerric hyn [yn ei
arwyddoccau] i chwi?
7 f Yna y dywedwch wrthynt, Mai dyfroedd
yr Iorddonen a holltwyd o flaen arch cyfammod
yr Arglwydd, [canys] tra fu hi yn myned trwy'r
Iorddonen, dyfroedd yr Iorddonen a holltwyd:
am hynny y mae y cerric hyn yn goffadwriaeth
i feibion Israel byth.
8 A meibion Israel a wnaethant felly fel y
gorchymynnase Iosuah, ac a gymmerasant

ddeuddec carrec o ganol yr Iorddonen, fel y lle-
farase yr Arglwydd wrth Iosuah, yn ol rhifedi
llwythau meibion Israel: ac ai trosgludasant
gyd a hwynt i'r lletty, ac ai cyfleuasant yno.
g Sal.65, 9 g Ac Iosuah a osododd i fynu ddeuddec
carrec yng-hanol yr Iorddonen yn y lle ['r oedd]
traed yr offeiriaid (y rhai oeddynt yn dwyn
arch y cyfammod) yn sefyll: ac y maent yno
hyd y dydd hwn.
Ex. 23, 10 h Felly yr offeiriaid y rhai oeddynt yn dwyn
3 ...a. 6, 9 yr arch a safasant yng-hanol yr Iorddonen nes
...um.27, gorphen pob peth a'r a orchymynnase yr Ar-
21 Heb. 11, glwydd i Iosuah lefaru wrth y bobl, yn ol yr
...at. 14, hyn oll a orchymynnase Moses wrth Iosuah:
yna y bobl a frysiasant, ac a aethant trwodd.
11 A phan ddarfu i'r holl bobl fyned trwodd:
yna arch yr Arglwydd a aeth trwodd, a'r offeir-
iaid yng-wydd y bobl.
Num. 32, 25 12 * Meibion Ruben hefyd a meibion Gad, a
hanner llwyth Manasses a dreiddiasant yn arf-
ogion o flaen meibion Israel: fel y llefarase
Moses wrthynt.
Eph. 6, 13 i Yng-hylch deugain-mil yn arfogion i'r
...um.32, filwriaeth a aethant trwodd o flaen yr Arglwydd
i ryfel i rossydd Iericho.
...en.3,7 ...x.14,31 14 j Y dwthwn hwnnw yr Arglwydd a fawr-
haodd Iosuah yng-olwg holl Israel: a hwynt ai
hofnasant ef fel yr ofnasent Moses holl ddydd-
iau ei einioes.
15 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Iosuah, gan
ddywedyd,
Ex.25, 16 k Gorchymyn di i'r offeiriaid y rhai ydynt
...at. 11, yn dwyn arch y destiolaeth, ddyfod o honynt i
fynu o'r Iorddonen.
Gen. 8, 17 l Am hynny Iosuah a orchymynnodd i'r
offeiriaid, gan ddywedyd: Deuwch i fynu o'r
Iorddonen.
Pen.3, 18 m A phan ddaeth yr offeiriaid (y rhai oedd-
ynt yn dwyn arch cyfammod yr Arglwydd) i
fynu o ganol yr Iorddonen [er cynted] y sang-
odd gwadnau traed yr offeiriaid ar y sych-dir
yna dyfroedd yr Iorddonen a ddychwelasant iw
lle, ac a aethant megis cynt dros ei holl dor-
lannau.
Gen. 8, 19 n Felly y bobl a ddaethant i fynu o'r Ior-
...x. 12, 2 ddonen y decfed [dydd] o'r mis cyntaf: ac a
...ren.12 wersyllasant yn Gilgal, yn y cwrr eithaf o du'r
...el 2,23 dwyrain i Iericho.
...ra 7,9 ...m. 5,7 20 A'r deuddec carrec hynny y rhai a ddug-
asent o'r Iorddonen a sefydlodd Iosuah yn
Gilgal.
21 Ac efe a lefarodd wrth feibion Israel, gan
ddywedyd: Pan ofynno eich meibion chwi ryw
amser i'w tadau, gan ddywedyd, beth [yw] y
cerric hyn?
22 Yna yr hyspyssweh i'ch meibion gan
ddywedyd: Israel a aeth drwy'r Iorddonen
hon ar dir sych.
23 Canys yr Arglwydd eich Duw chwi a
sychodd ddyfroedd yr Iorddonen o'ch blaen
chwi * nes i chwi fyned trwodd: megis y gwnaeth * Ex.14,
yr Arglwydd eich Duw i'r môr coch yr hwn a 21
sychodd efe o'n blaen ni, nes i ni fyned trwodd.
24 o Fel y gwyppo holl bobloedd y ddaiar mai o Ier.16,6
llaw'r Arglwydd sydd nerthol: fel yr ofnoch yr a 32, 10 Sal. 76,8
Arglwydd eich Duw yr holl ddyddiau.

## PEN. V.

*Iosuah yn peri enwaedu y bobl, a chadw y pasc. 11 Y manna yn darfod, ac angel Duw yn cyssuro Iosuah.*

PAN p glybu holl frenhinoedd yr Amoriaid, p Gen.10,
y rhai [oeddynt] o'r tu hwnt i'r Iorddonen Num.13.
tua'r gorllewyn, a holl frenhinoedd y Canaaneaid 29 Pen. 2,9
y rhai [oeddynt] wrth y môr, fel y sychase'r Ar- Sal 48,5,
glwydd ddyfroedd yr Iorddonen o flaen meibion 8 Dat. 18,
Israel nes eu myned hwy trwodd: yna y diga- 10 Ex.34,24
lonnwyd hwynt fel nad oedd gyssur mwyach
ynddynt, rhac ofn meibion Israel.
2 Y pryd hynny y dywedodd yr Arglwydd
wrth Iosuah, * Gwna it gyllill llymion: dych- * Ex.4,25
wel [hefyd] ac enwaeda feibion Israel yr ail
waith.
3 q Yna Iosuah a wnaeth iddo gyllill llymion: q Ioan 4,
ac a enwaedodd feibion Israel ym mryn y 1, 2 Mat. 16,
blaen-grwyn. 24
4 r Ac dymma yr achos yr hon [a wnaeth] i r Num. 14
Iosuah enwaedu yr holl bobl [sef] y gyrfiaid y 23 1Cor. 10,
rhai a ddaethent o'r Aipht: [o herwydd] yr holl 5 Heb.3,17
ryfel-wŷr a fuasent feirw yn yr anialwch ar y
ffordd pan ddaethant o'r Aipht.
5 s Canys yr holl bobl a'r a ddaethent allan s Hos.6,6
oeddynt enwaededic, ond y bobl oll y rhai a
anesid yn yr anialwch ar y ffordd pan ddaeth-
ent allan o'r Aipht nid enwaedasent,
6 Canys deugain mhlynedd y rhodiase meib-
ion Israel yn yr anialwch, nes darfod holl gen-
edl y rhyfel-wŷr y rhai a ddaethent o'r Aipht,
y rhai ni wrandawsent ar lef yr Arglwydd: y
rhai y tyngase yr Arglwydd wrthynt na ddan-
gosid iddynt * y wlad yr hon a dyngase 'r Ar- * Num 14, 23
glwydd wrth eu tadau y rhodde efe i ni, [sef] Sal.95.10
gwlâd yn llifeirio o laeth a mêl.
7 t Felly Iosuah ai henwaedodd hwynt, sef y t Num 14
meibion [y rhai] a gododd efe yn eu lle hwynt: 31 Col. 3,11
canys dienwaededic oeddynt hwy am nad en- Eph.2,14
waedasid hwynt ar y ffordd.
8 A phan ddarfu enwaedu yr holl genedl:
yna'r arhosasant yn eu lle nes eu hiachau hwynt.
9 u Yna yr Arglwydd a ddywedodd wrth Io- u Ier. 9,
suah, Heddyw y tynnais ymmaith waradwydd 25 Gen. 34,
yr Aipht oddi arnoch: am hynny efe a alwodd 14 Pen.. 24,
enw y lle hwnnw Gilgal, hyd y dydd heddyw. 14 Ezec.20,
10 v Felly meibion Israel a werssyllasant yn 7
Gilgal: a hwynt a gynhaliasant y Pasc ar y v Num.9
pedwerydd dydd ar ddec o'r mis, pryd nawn yn 1

rhossydd Ierico.
w Deut. 1. 8 11 [w] A hwynt a fwytawsant drannoeth wedi 'r
Pasc fara croiw, a chras-yd [wedi eu gwneuth-
ur] o ŷd y wlad honno: o fewn corph y dydd
hwnnw.
x Dat. 21. 12 12 [x] Yna y manna a beidiodd drannoeth wedi
iddynt fwyta o ŷd y wlad, ac ni bu manna
mwyach gan feibion Israel: eithr bwytawsant o
gynnyrch gwlad y Canaaneaid y flwyddyn
honno.
y Dan. 8. 3 13 [y] A phan oedd Iosuah yn Iericho yna efe a
Pen 6, 2 dderchafodd ei lygaid, ac a edrychodd, ac wele
* Ex. 23. 23 * ŵr yn sefyll gyferbyn ag ef ai [z] gleddyf noeth
z Pen 3, 10 yn ei law: ac Iosuah a aeth atto ef, ac a ddy-
Sal. 3, 8 wedodd wrtho, Ai gyd a ni ['r ydwyt] ti, ai gyd
a Mat. 3, 16 a'n gwrthwyneb-wŷr?
a Sal. 139, 21 14 [a] Dywedodd yntef, Nage, eithr tywysog llû
'r Arglwydd ydwyf, yn awr y deuthum: yna
Iosuah a syrthiodd i lawr ar ei wyneb ac a add-
olodd, ac a ddywedodd hefyd wrtho ef, Beth y
mae fy Arglwydd yn ei ddywedyd wrth ei was?
b Dan. 12, 1 15 [b] A thywysog llû 'r Arglwydd a ddywed-
Gen. 17, 3 odd wrth Iosuah, * Dattod dy escidiau oddi am
1 Sam. 3, 9 dy draed, canys y lle 'r hwn yr ydwyt ti yn sef-
* Ruth 4, 7 yll arno sydd [c] sanctaidd: ac Iosuah a wnaeth
Act 7, 33 felly.
Ex. 3, 5

## PEN. VI.

1 Cor. 3, 14
c 2 Pedr 1, 18

*Duw yn rhoddi Iericho yn llaw Iosuah. 22 Yntef yn peri cadw yr addewid a wnelsid i Rahab. 26 Dialedd Duw ar yr hwn a adeilade Iericho trachefn.*

d Pen 2, 9 AC [d] Iericho oedd yn gaedic, ac yn argaed-
14 ic rhac ofn meibion Israel: nid oedd [neb]
Sal. 127, 1 yn myned allan, nac yn dyfod i mewn.
e Pen 5, 13 2 [e] A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Iosuah,
Dan. 2, 21 Gwêl rhoddais yn dy law di Iericho ai brenin:
Pen 2, 11 [a] chedyrn y llu.
f Num. 14, 9 3 [f] Gan hynny amgylchwch y ddinas [chwi]
Iob. 9, 4 ryfel-wŷr oll, gan amgylchynu y ddinas un
waith: gwnewch felly chwe diwrnod.
g 1 Cor. 1, 27 4 [g] A dyged saith o offeiriaid saith o udcyrn o
Zec 4, 6 gyrn hyrddod o flaen yr arch, a'r seithfed dydd
2 Cron 20, 17 yr amgylchwch y ddinas saith waith: a lleisied
2 Bren 5, 10 yr offeiriaid â'r udcyrn.
1 Bren 18, 43 5 [h] A phan gênir yn hirllaes â chorn yr hwrdd,
Heb 11, 30 [a] phan glywoch chwithau sain yr udcorn
h 2 Cron 20, 21 bloeddied yr holl bobl â bloedd uchel: yna y
Pen 2, 15 syrth mûr y ddinas tani hi, ac eled y bobl i fynu
i Dat. 1, 12 bawb ar ei gyfer.
Deut. 7, 1 6 [i] Yna Iosuah mab Nun a alwodd ar yr off-
eiriaid, ac a ddywedodd wrthynt, Dygwch arch
y cyfammod: a dyged saith o offeiriaid saith o
udcyrn o gyrn hyrddod o flaen arch yr Ar-
glwydd.
j Pen 1, 14 7 [j] Ac efe a ddywedodd wrth y bobl, Cerdd-
k Pen 4, 13 wch, ac amgylchwch y ddinas: a'r hwn sydd
Mat. 16, 24 arfog eled o flaen arch yr Arglwydd.
2 Cor. 10, 4 8 [k] A phan ddywedodd Iosuah wrth y bobl,
yna y saith offeiriaid a ddugasant saith o udcyrn
o gyrn hyrddod, ac a gerddasant o flaen [arch]
yr Arglwydd, ac a leisiasant mewn udcyrn: ac
arch cyfammod yr Arglwydd oedd yn myned
ar eu hol hwynt.
9 [l] A'r rhai arfogion oeddynt yn myned o l Sal. 85, 10
flaen yr offeiriaid y rhai oeddynt yn lleisio mewn
udcyrn: yna y fyddin olaf oedd yn myned ar ôl
yr arch dann gerdded, a than leisio mewn ud-
cyrn.
10 [m] Ac Iosuah a orchymynnase i'r bobl, gan m Act. 4, 7, 16
ddywedyd, Na waeddwch, ac na edwch glywed
eich llais, ac na eled gair allan o'ch genau, hyd
y dydd y dywedwyf wrthych, Gwaeddwch, a
bloeddiwch.
11 Felly arch yr Arglwydd a amgylchodd y ddi-
nas gan [ei] hamgylchynu unwaith: yna y daeth-
ant i'r gwerssyll, ac y lletteuasant yn y gwerssyll.
12 [n] Ac Iosuah a gyfododd yn forau: a'r offeir- n Sal. 112, 3
iaid a ddugasant arch yr Arglwydd.
13 [o] A'r saith offeiriaid oeddynt yn dwyn o Act. 6
saith o udcyrn o gyrn hyrddod o flaen arch yr 1 Cron 15, 24
Arglwydd yn myned dann gerdded, ac yn Gal. 4, 4
lleisio mewn udcyrn; a'r rhai arfogion oeddynt 1 Bren 3
yn myned oi blaen hwynt a'r fyddin olaf oedd
yn myned ar ol arch yr Arglwydd dann gerdd-
ed, a lleisio mewn udcyrn.
14 Felly'r amgylchynasant y ddinas un waith
yr ail dydd, a dychwelasant i'r gwerssyll: fel
hyn y gwnaethant [dros] chwe diwrnod.
15 Ac ar y seithfed dydd y cyfodasant yn fo-
rau ar godiad y wawr, ac yr amgylchasant y
ddinas y modd hwnnw, saith waith: yn unic y
dwthwn hwnnw'r amgylchasant y ddinas saith-
waith.
16 A phan leisiodd yr offeiriaid yn eu hudcyrn
y seithfed waith, yna Iosuah a ddywedodd wrth p Deut. 1
y bobl: Gwaeddwch, canys rhoddodd yr Ar- Num.
glwydd y ddinas i chwi.
17 [p] A'r ddinas fydd yn ddiofryd-beth, hi a'r 1 Bren 36
hyn oll [sydd] ynddi i'r Arglwydd: yn unic Ex. Ier.
Rahab y buttein-wraig fydd byw, hi a chwbl Exec. 17
ar y [sydd] gyd a hi yn tŷ, canys * hi a [q] gudd- * Pen 2, 4, 6
iodd y cennadau y rhai a anfonasom ni.
18 [r] Er hynny ymgedwch chwi oddi wrth y
diofryd beth rhac eich gwneuthur eich hun yn Heb.
ddiofryd-beth os cymmerwch o'r diofryd-beth: 6, 9
* felly y gosodech wersyll Israel yn ddiofryd- Lef. 21
beth, ac y difwynech ef. Num. 9
19 Ond yr holl arian, a'r aur, a'r llestri prês, Deut. 15
a'r haiarn fyddant gyssegredic i'r Arglwydd: r Pen 7, 2 Sam.
deled [y rhai hynny] i mewn i dryssor yr Ar- 1
glwydd. Ioa. 1. 18
20 [s] Yna y gwaeddodd y bobl, ac y lleisiasant Preg. 18
mewn udcyrn: a phan glybu y bobl lef yr ud- s Heb. 30
cyrn, yna y bobl a waeddasant â llef uchel, s Act 8
a'r mûr a syrthiodd i lawr oddi tanodd, felly a Dat.

bobl a aethant i fynu i'r ddinas, pob un ar ei
gyfer, ac a ennillasant y ddinas.
tDeut.2, 21 ᵗ A hwynt a ddifrodasant yr hyn oll [oedd]
34 yn y ddinas yn wr ac yn wraig, yn fachgen, ac
Deut. 18, yn henafgwr: yn eidion ac yn ddafad, ac yn
11 assyn, â min y cleddyf.
1 Bren. 22 Ac Iosuah a ddywedodd wrth y ddau wr y
Pen 2, rhai a fuasent yn edrych ansodd y wlad,*Ewch
4 i dŷ y buttein-wraig: a dygwch allan oddi yno
al.15,4 y wraig a'r hyn oll [sydd] iddi, fel y tyngasoch
wrthi.
Deut 23 ᵘ Felly y llangciau y rhai fuasent yn ed-
1,10 rych ansodd [y wlad] a ddaethant i mewn, ac a
Num.31, ddugasant allan Rahab, ai thad, ai mam, ai bro-
9 dyr, a chwbl ar a fedde hi; dugasant allan he-
ct.2,31 fyd ei holl dylwyth: a chyfleuasant hwynt o'r
tu allan i wersyll Israel.
Deut,17, 24 ᵛ A lloscasant y ddinas a thân, a'r hyn oll
18,3 [oedd] ynddi: yn unic yr arian, a'r aur, a'r lles-
tri prês, a'r haiarn a roddasant hwy yn nhrys-
sor-dŷ 'r Arglwydd.
Barn 25 ʷ Felly y cadwodd Iosuah yn fyw Rahab
24 y buttein-wraig, a thylwyth ei thad, a'r hyn oll
11, [oedd] genddi, a hi a drigodd ym mysc Israel
at.1,5 hyd y dydd hwn: am iddi guddio y cennadau y
c.3,32 rhai a anfonase Iosuah i chwilio Iericho.
26 Ac Iosuah a dyngodd y pryd hynny gan
ddywedyd, Melldigedic gêr bron yr Arglwydd
[fyddo]'r gwr yr hwn a gyfyd, ac a adailada y
Bren ddinas hon sef Iericho:* yn ei gyntaf-anedic y
34 seilia efe hi, ac yn ei [fab] ieuangaf y sefyll a
efe ei phyrth hi.
Iat 14, 27 ˣ Felly yr Arglwydd oedd gyd ag Iosuah:
am 2. fel y bu ei glod ef drwy 'r holl ddaiar.

## PEN. VII.

*Cyssegr-ledrad Achan yn peri aflwydd i bobl Israel, hyd oni chospwyd ef.*

OND ʸ meibion Israel a wnaethant yn ang-
hywir am y diofryd-beth: canys * Achan
mab Charmi, fab Zabdi, fab Zerach o lwyth Iuda
a gymmerodd o'r diofryd-beth: am hynny yr
ennynnodd digllonedd yr Arglwydd yn erbyn
meibion Israel.
2 ᶻ Ac Iosuah a anfonodd wŷr o Iericho i Ai
yr hon [sydd] wrth Bethafen, o du 'r dwyrain i
Bethel, ac a lefarodd wrthynt gan ddywedyd,
Ewch i fynu a deliwch sulw ar y wlad: a'r gwŷr
a aethant i fynu ac a edrychasant ansawdd Ai.
3 A hwynt a ddychwelasant at Iosuah, ac a
ddywedasant wrtho ef, Nac eled yr holl bobl i
fynu [onid] yng-hylch dwy fil o wŷr, neu dair
mil o wŷr a ânt i fynu a tharawant Ai: na phoen-
weh y bobl yno canys ychydig [ydynt] hwy.
4 ᵃ Felly fe a aeth o'r bobl i fynu yno yng-
hylch tair mil o wŷr: a hwynt a ffoasant o flaen
gwŷr Ai.
5 ᵇ A gwŷr Ai a darawsant ynghylch un-gwr
ar bymtheg ar hugain o honynt, ac ai hymlid-
iasant o flaen y porth hyd Sebarim, a tharaw-
sant hwynt yn y goriwared: am hynny y todd-
odd calonnau y bobl, ac yr aethant fel dwfr.
6 ᶜ Yna Iosuah a rwygodd ei wiscoedd, ac a cGen.37
syrthiodd i lawr ar ei wyneb o flaen arch yr 39 Pen 9,14
Arglwydd hyd yr hwyr, efe ac henuriaid Israel, Sal.50,15 1Pedr 3,
ac a osodasant lwch ar eu pennau. 5 Ester 4,1
7 ᵈ A dywedodd Iosuah, Ah ah, O Arglwydd 1Sam.4,
Iôr i ba beth gan drosgludo y trosgludaist y bobl 10 dIob21,7
ymma tros yr Iorddonen hon i'n rhoddi ni yn Ier.32,1 Pen1,3,4
llaw 'r Amoriaid i'n difetha? O na buasem fod- Sal. 116,
lon, ac [na] thrigasem tu hwnt i'r Iorddonen. 11
8 ᵉ [Ystyria] wrthif O Arglwydd, beth a ddy- eGen.43,
wedaf pan drŷ Israel [ei] warr o flaen ei elyn- 20 Hab.2,1
nion?
9 ᶠ Canys y Canaaneaid a holl drigolion y fSal.83,4
wlad a glywant, ac a'n hamgylchant, ac a dor- Ex.32,12 Num,14,
rant ymmaith ein henw o'r tir: beth gan hynny 3 Mat.6,9
a wnei i'th enw mawr? Sal.106,7
10 ᵍ A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Iosuah, gEzra10,
Cyfot ti: pa ham yr ydwyt yn ʰ gorwedd fel hyn 2,3 Galar.3,
ar dy wyneb? 40
11 ⁱ Israel a bechodd, a throseddasant fyng- hDiar 21 3
hyfammod yr hwn a orchymmynnais iddynt; 1Sam.15, 22
cymmerasant hefyd o'r diofryd-beth, ie lledrat- i Adn 1 Lef 8,35
tasant, a gwadasant, gosodasant hefyd [hynny] Pen 6,18 Act.5,1,
ym mysc eu dodrefn eu hun. 2
12 ʲ Am hynny ni ddichon meibion Israel sef- Heb.4,13 jNum.14
yll yn wyneb eu gelynnion, [eithr] troant eu 45
gwarr o flaen eu gelynnion, canys y maent yn
escymmyn-beth: ni byddaf mwyach gyd a chwi
oni ddifethwch yr escymmyn-beth o'ch mysc.
13 ᵏ Cyfot sancteiddia y bobl, a dywet, Ymsanct- k Ex.19,
eiddiwch erbyn y borau: canys fel hyn y dywed- 10
odd Arglwydd Dduw Israel, Diofryd-beth [sydd]
yn dy blith di O Israel, ni elli sefyll yn wyneb
dy elynnion nes tynnu ymmaith y diofryd-beth
o'ch mysc.
14 ˡ Am hynny nessewch y borau bob yn lDiar.16,
llwyth, a'r llwyth yr hwn a ddalio'r Arglwydd, 33
nessaed bob yn deulu; a'r teulu'r hwn a ddalio'r
Arglwydd, nessaed bob yn dŷ; a'r tŷ'r hwn a
ddalio'r Arglwydd, nessaed bob yn ŵr.
15 ᵐ A'r hwn a ddelir a'r diofryd-beth [ganddo] m Num 27,21
a loscir mewn tân, efe a'r hyn oll sydd ganddo: Deut.13,
o herwydd iddo ef droseddu cyfammod yr Ar- 15 Ex. 19,6
glwydd, ac o herwydd iddo ef wneuthur ynfyd-
rwydd yn Israel.
16 ⁿ Felly Iosuah a gyfododd yn forau, ac a nSal.1,18
ddynesodd Israel bob yn llwyth: a llwyth Iuda
a ddaliwyd.
17 ᵒ Ac efe a ddynesodd deulu Iuda, a dal- o Num 26,20
iwyd teulu y Zarehiaid: ac efe a ddynesodd
deulu y Zarehiaid bob yn ŵr, a daliwyd Zabdi.
18 Ac efe a ddynesodd ei dŷed ef bob yn ŵr:
a daliwyd Achan mab Charmi fab Zabdi, fab

Zerach o lwyth Iuda.
p2Tim. 2 25 19 [p] Yna Iosuah a ddywedodd wrth Achan, Fy
Sal. 51, 3 Diar. 28, mab dyro ogoniant attolwg i Arglwydd Dduw
13 Israel, a chyffessa di iddo: a mynega attolwg i
mi beth a wnaethost, na chela oddi wrthif.
20 Ac Achan a attebodd Iosuah, ac a ddy-
wedodd, Yn wir myfi a bechais yn erbyn Ar-
glwydd Dduw Israel, canys fel hyn ac fel hyn
y gwneuthum.
q1Ioan 2, 16 21 [q] Pan welais ym mysc yr yspail ryw fantell
Gen. 10, 10 fabilonic dêg, a dau cant sicl o arian, ac un llafn
Diar. 28, aur o ddec sicl a deugain ei bwys, yna y chwe-
16 Iob 20, 15 nychais hwynt, ac y cymmerais hwynt, ac wele
hwynt yn guddiedic yn y ddaiar ynghanol fy
mhabell a'r arian tanynt.
rPreg. 5, 13 22 [r] Yna Iosuah a anfonodd gennadon, a
hwynt a redasant i'r babell, ac wele hwynt yn
guddiedic yn ei babell ef, a'r arian tanynt.
23 Am hynny hwynt ai cymmerasant o ganol y
babell, ac ai dugasant at Iosuah, ac at holl feib-
ion Israel: a gosodasant hwy o flaen yr Arglwydd.
sGen. 18, 25 24 [s] Yna Iosuah a gymmerth Achan fab Zerach,
a'r arian, a'r fantell, a'r llafn aur, ei feibion hefyd,
ai ferched, ai warthec, ai assynnod, ei ddefaid
hefyd ai babell, a'r hyn oll a fedde efe: a holl Isra-
el gyd ag ef ai dugasant hwynt i ddyffryn Achor.
t 1 Bren 18, 17 25 [t] Ac Iosuah a ddywedodd, Am i ti ein blino
ni, yr Arglwydd a'th flina dithe y dydd hwn:
yna holl Israel ai llabyddiasant ef â meini, ac ai
lloscasant hwythau â thân wedi eu llabyddio â
meini.
u Pen 8, 29 26 [u] A bwriasant arno ef garnedd fawr o gerric
2Sam. 18, 17 hyd y dydd hwn: felly y dychwelodd yr Ar-
2Sam. 21, 14 glwydd oddi wrth lid ei ddigllonedd ef: am
Zec. 6, 8 hynny y gelwir henw y fann honno dyffryn Achor
Diar. 21, 3 hyd y dydd hwn.
Adn 25
Hos. 2, 15
Esa. 65, 10

## PEN. VIII.

*Iosuah yn gwarche ac yn ennill Ai. 29 Ac yn crogi ei brenin. 30 Yn adailadu allor. 32 Yn scrifennu ac yn cyhoeddi y gyfraith i'r bobl.*

vDeut. 1 21, a 7, 18 YNA [v] yr Arglwydd a ddywedodd wrth
Esa. 12, 1 2Sam. 14, Iosuah, * Nac ofna, ac na arswyda, cym-
14 Dan. 2, 21 mer gyd a thi yr holl bobl ryfeloc, a chyfot, dos
Sal. 44, 3 i fynu i Ai: gwel, mi a roddais yn dy law di
frenin Ai, ai bobl, ei ddinas hefyd ai wlad:
2 Fel y gwnelech i Ai ai brenin megis y gwn-
* Pen 6, 21 aethost i * Iericho ac i'w brenin, etto ei hanrhaith
Deut 20, 14 ai hanifeiliaid a sclyfaethwch i chwi: gosot ti
Adn 9 gynllwyn yn erbyn y ddinas o'r tu ol iddi.
w Adn 1 1Thes. 5, 3 [w] Yna Iosuah a gyfododd a'r holl bobl ryfeloc
2 i fyned i fynu i Ai: ac Iosuah a ddetholodd
ddeng-mil ar hugain o wŷr cedyrn nerthol, ac
ai hanfonodd ymmaith liw nos.
xSal. 119 4 [x] Ac efe a orchymynnodd iddynt gan ddy-
9 wedyd, Gwelwch, chwi a gynllwynwch yn er-
byn y ddinas o'r tu ol i'r ddinas, nac ewch
ym mhell iawn oddiwrth y ddinas, ond bydd-
wch bawb oll yn barod.
5 [y] Minne hefyd, a'r holl bobl y rhai [ydynt] yMat. 10 16
gyd a mi a nessawn at y ddinas: a phan elont
allan i'n cyfarfod ni megis y waith gyntaf, yna
ni a ffoiwn oi blaen hwynt.
6 [z] Canys hwynt a ddeuant allan ar ein hol ni, zPreg. 5,
nes i ni eu tynnu hwynt allan o'r ddinas, o blegit 18 Ex. 15, 9
hwynt a ddywedant, Ffoi y maent o'n blaen ni Barn 5, 3
fel y waith gyntaf: felly y ffoiwn oi blaen hwynt. Preg. 8, 11
7 Yna chwi a godwch o'r cynllwyn, ac a ores- 1 Bren 20, 13
cynnwch y ddinas: canys yr Arglwydd eich
Duw ai dyru hi yn eich llaw chwi.
8 [a] A phan ennilloch y ddinas, lloscwch y a 2 Sam
ddinas â thân, gwnewch yn ol gair yr Arglwydd: 13, 28 Pen. 1, 15
gwelwch mi a orchymynnais i chwi.
9 Felly Iosuah ai hanfonodd, a hwynt a aeth-
ant i gynllwyn, ac a arhosasant rhwng Bethel
ac Ai, o du yr gorllewyn i Ai: ac Iosuah a let-
teuodd y noson honno ym mysc y bobl.
10 [b] Ac Iosuah a gyfododd yn forau, ac a gyf- bSal. 101
rifodd y bobl: ac efe a aeth i fynu a henuriaid 8
Israel o flaen y bobl [tuag at] Ai. Esa. 40, 10
11 A'r holl bobl ryfeloc y rhai [oeddynt] gyd
ag ef a aethant i fynu, ac a nessasant, daethant
hefyd yn erbyn y ddinas: a gwerssyllasant o du
'r gogledd i Ai, a glynn [oedd] rhyngddynt hwy
ac Ai.
12 [c] Ac efe a gymmerth yng-hylch pum mil o cPreg. 4, 11
wŷr: ac ai gosododd hwynt i gynllwyno rhwng 2Sam. 11,
Bethel ac Ai, o du'r gorllewyn i'r ddinas. 7
13 A'r bobl a osodasant yr holl werssyllau y
rhai [oeddynt] o du'r gogledd i'r ddinas, a'r rhan
olaf o honynt o du'r gorllewyn i'r ddinas: ac
Iosuah a aeth y noson honno i ganol y dyffryn.
14 [d] A phan welodd brenin Ai [hynny,] yna d 1 Thes
gwŷr y ddinas a fryssiasant ac a foreu-godasant, 5, 2, 3
aethant hefyd allan i gyfarfod Israel i ryfel, efe Dan. 4, 30, 31
ai holl bobl ar yr amser nodedic, ar hyd wyneb Preg. 18
y gwastadedd: canys ni wydde efe fod cyn- 1 Sam. 23, 5
llwyn iddo o'r tu ol i'r ddinas. Dat. 17, 8
15 [e] Yna Iosuah a holl Israel [fel pes] tarawsid ePen
hwy oi blaen hwynt a ffoasant tua yr anialwch. 12
16 [f] A'r holl bobl y rhai [oeddynt] yn y ddinas fExe.
a gynhullwyd i erlid ar eu hol hwynt: a hwynt 11, 14 Ex. 14,
a erlidiasant ar ol Iosuah, felly y lluscwyd 4 Sal. 11
hwynt o'r ddinas.
17 [g] Ac ni adawyd gŵr yn Ai nac [yn] Bethel gAdn Iob 5,
a'r nad aethant allan ar ol Israel: a gadawsant y
ddinas yn agored, ac erlidiasant ar ol Israel.
18 [h] Yna yr Arglwydd a ddywedodd wrth hEx.
Iosuah, Estyn y waiw-ffon yr hon [sydd] yn dy 11 1Sam.
law tuac at Ai, canys yn dy law di y rhoddaf 6 Adn 7
hi: ac Iosuah a estynnodd y waiw-ffon yr hon
[oedd] yn ei law tua'r ddinas.
19 A'r cynllwyn-wŷr a gyfodasant yn ebrwydd
oi lle, ac a redasant pan estynnodd efe ei law,
daethant hefyd i'r ddinas, ac ennillasant hi: a

hwynta fryssiasant, ac a loscasant y ddinas â thân.
20 [i] A gwŷr Ai a droesant yn eu hol, ac a ed-
rychasant, ac wele mwg y ddinas a dderchaf-
odd hyd y nefoedd, ac nid [oedd] ganddynt bwy
fodd i ffoi ymma nac accw: canys y bobl y rhai
a ffoasent i'r anialwch a ddychwelodd yn erbyn
y rhai oeddynt yn erlid.
21 Pan welodd Iosuah a holl Israel i'r cyn-
llwyn-wŷr ennill y ddinas, a derchafu o fŵg y
ddinas: yna hwynt a ddychwelasant, ac a da-
rawsant wŷr Ai.
22 A hwyntau [y rhai oeddynt] yn y ddinas a
aethant allan iw cyfarfod, felly'r oeddent yng-
hanol Israel, y rhai hyn o'r tu ymma, a'r lleill
o'r tu accw: a tharawsant hwy fel na adawyd [un]
yng-weddill * nac yn ddiangol o honynt.
23 [j] Onid brenin Ai a ddaliasant yn fyw: a
dugasant ef at Iosuah.
24 Pan ddarfu i Israel ladd holl bresswylwyr
Ai yn y maes [ac] yn yr anialwch yr hwn yr
erlidiasid hwynt ynddo, a [phan] syrthiasent
hwy oll gan fîn y cleddyf nes eu darfod: yna
holl Israel a ddychwelasant i Ai, a tharawsant
hi â mîn y cleddyf.
25 A chwbl a'r a syrthiasant y dwthwn hwn-
nw yn wŷr ac yn wragedd oeddynt ddeuddeng-
mil: [sef] gwŷr Ai oll.
26 [k] Canys ni thrôdd Iosuah trachefn ei law'r
hon a estynnase efe gyd a'r waiw-ffon: nes di-
fetha holl drigolion Ai.
27 [l] Yn * unic yr anifeiliaid ac anrhaith y ddi-
nas a sclyfaethodd yr Israeliaid iddynt eu hun:
yn ol gair yr Arglwydd yr hwn a orchymynnase
efe i Iosuah.
28 Ac Iosuah a loscodd Ai: ac ai gosododd
hi yn garnedd dragywydd [ac] yn ddiffaeth-
wch hyd y dydd hwn.
29 [m] Ac efe a grogodd frenin Ai ar y prenn
hyd yr hwyr: ac yng-hylch machludiad yr haul
y gorchymynnodd Iosuah iddynt * ddescyn ei
gelain ef oddi ar y pren, ai bwrw i ddrws porth
y ddinas, a gosodasant garnedd fawr o gerric
arni hyd y dydd hwn.
30 [n] Yna Iosua a adailadodd allor i Arglwydd
Dduw Israel ym mynydd Ebal:
31 Megis y gorchymynnasase Moses gwas yr
Arglwydd i feibion Israel, fel y mae yn scrifen-
nedic * yn llyfr cyfraith [o] Moses, [sef] allor o
gerric cyfan y rhai ni dderchafasid haiarn ar-
nynt: a hwynt a offrymmasant arni boeth off-
rymmau i'r Arglwydd, ac a aberthasant ebyrth
hedd.
32 [p] Ac efe a scrifennodd yno ar y meini ad-
fynegiad cyfraith Moses yr hon a scrifennase efe
yng-ŵydd meibion Israel.
33 A holl Israel ai hennuriaid, ei swyddogion
hefyd, ai barn-wŷr oeddynt yn sefyll o bob parth
i'r arch ger bron y Lefiadaidd offeiriaid y rhai
oeddynt yn dwyn arch cyfammod yr Ar-
glwydd, yn gystal yr estron a'r priodor; ei han-
ner [oedd] ar gyfer mynydd Garizim, ai han-
ner ar gyfer mynydd Ebal; * fel y gorchymyn- * Deut 11, 29
nase Moses gwâs yr Arglwydd fendithio pobl a 27, 1.
Israel o'r blaen. a 31, 10
34 [q] Wedi hynny efe a ddarllenodd holl eiriau q Deut 27, 14
y gyfraith, y fendith, a'r felldith; yn ol y cwbl Neh. 8, 1,
a'r y sydd scrifennedic yn llyfr y gyfraith. 2
35 Nid oedd air o'r hyn oll a scrifennase Mo-
ses, a'r nas darllenodd Iosuah ger bron holl gyn-
nulleidfa Israel, * a'r gwragedd a'r plant, a'r di- * Deut. 31 12
eithr yr hwn oedd yn rhodio yn eu mysc hwynt. Neh. 8, 2 Adn 33.

## PEN. IX.

*Rhai o frenhinoedd Canaan yn ymgasclu yn erbyn Iosuah. 3 Y cyfammod a wnaeth Iosuah a'r Gibeoniaid. 21 A'r gwasanaeth a osodwyd arnynt hwy.*

WEDI [r] clywed [hyn] o'r holl frenhin- r Pen 3,
oedd y rhai [oeddynt] o'r tu hwnt i'r 32
Iorddonen yn y mynydd, ac yn y gwastadedd, Num. 34, 6 Gen. 15
ac ym mhob porthladd i'r mor mawr ar gyfer 20
Libanus; [sef] yr Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r
Canaaneaid, a'r Phereziaid, a'r Hefiaid, a'r
Iebusiaid.
2 [s] Yna hwynt a ymgasclasant yng-hyd i ym- s Sal. 2, 2 Dat. 16,
ladd yn erbyn Iosuah, ac yn erbyn Israel o un- 14
fryd. 2 Cron. 20, 1, 2
3 * A [t] thrigolion Gebeon a glywsant yr hyn Sal. 83, 2
a wnaethe Iosuah i Iericho, ac i Ai, * 2 Sam. 21, 1
4 [u] Hwyntau gan hynny a wnaethant yn gyf- t Pen 10, 2 Luc. 16. 8
rwys, canys hwy a aethant, ac a ymddangosas- u Mat. 10. 16
ant fel cennadon; cymmerasant hefyd hên sach-
lennau ar eu hassynnod, a hên gostrelau gwin
wedi eu hollti hefyd, ac wedi eu rhwymo.
5 A hên escidiau maglog am eu traed, a hên
wiscoedd am danynt; a holl fara eu lluniaeth
[oedd] sych [a] brith-lwyd.
6 [v] Ac aethant at Iosuah i'r gwersyll i Gilgal: a v Pen. 5, 9 Adn 15
dywedasant wrtho ef ac wrth wŷr Israel, O wlad * Pen. 11, 19
bell y daethom, yn awr gwnewch gyfammod â ni.
7 Yna gwŷr Israel a ddywedasant wrth yr Hef-
iaid: [w] Nid hwyrach dy fod yn ein mysc yn trigo, w Ex. 23, 32
pa fodd gan hynny y gwnafi gyfammod â thi? Deut 7, 2.
8 [x] A hwynt a ddywedasant wrth Iosuah, Dy a 34, 12
weision di ydym ni; ac Iosuah a ddywedodd x Est. 7, 4 Deut. 20, 11
wrthynt, Pwy ydych? ac o ba le y daethoch?
9 [y] Yna y dywedasant wrtho ef, dy weision a y Sal. 83, 18
ddaethant o wlad bell iawn at enw yr Arglwydd Est. 8, 17
dy Dduw, canys ni a glywsom ei glod ef, a'r Ex. 15, 14 16
hyn oll a wnaeth efe yn yr Aipht.
10 [z] A'r hyn oll a wnaeth efe i ddau frenin yr z Sal. 135, 20
Amoriaid y rhai [oeddynt] o'r tu hwnt i'r Ior-
ddonen; i Sehon brenin Hesbon, ac i Og brenin
Basan yr hwn [oedd] yn Astaroth.
11 Am hynny ein henafiaid ni a holl bresswyl-
wŷr ein gwlad ni a lefarasant wrthym ni, gan

ddywedyd, Cymmerwch lynniaeth gyd a chwi
i'r daith, ac ewch iw cyfarfod hwynt, a dywed-
wch wrthynt, Eich gweision ydym; yn awr gan
hynny gwnewch gyfammod â ni.
12 [a] Dymma ein bara ni, yn boeth y cymmer-
asom ef yn lynniaeth o'n tai ni y dydd y cych-
wynasom ddyfod attoch, ac yn awr wele sych a
thryfrith [o lwydni] yw.
13 Dymma hefyd y costrelau gwin y rhai a
lenwasom yn newyddion, ac wele hwynt wedi
hollti; ein gwiscoedd hyn hefyd, a'n hescidigu a
heneiddiasant rhac meithed y daith.
14 [b] A'r gwŷr a gymmerasant oi hymborth
hwynt; ac nid ymgynghorasant â genau'r Ar-
glwydd.
15 [c] Felly Iosuah a wnaeth heddwch â hwynt,
ac a wnaeth gyfammod â hwynt ar ei cadw
hwynt yn fyw; tywysogion y gynnulleidfa hefyd
a dyngasant wrthynt.
16 Ond ym mhen y tri-diau wedi iddynt
wneuthur cyfammod â hwynt; yna y clywsant
mai cymmydogion iddynt [oeddynt] hwy, ac
[mai] yn eu mysc yr oeddynt yn aros.
17 A meibion Israel a gychwnnasant, ac a
ddaethant i'w dinasoedd hwynt y trydydd dydd;
ai dinasoedd hwynt [oedd] Gibeon, a Chaphira,
Beroth hefyd, a Chiriath Iearim.
18 [d] Ond ni tharawodd meibion Israel monynt
hwy, o blegit tywysogion cynnulleidfa Arglwydd
Dduw Israel a dyngasent wrthynt; am hynny
yr holl gynnulleidfa a rwgnachasant yn erbyn
y tywysogion.
19 [e] Yna yr holl dywysogion a ddywedasant
wrth yr holl gynnulleidfa, Ni a dyngasom wrth-
ynt i Arglwydd Dduw Israel; am hynny nid
allwn yn awr gyffwrdd â hwynt.
20 [f] Hyn a wnawn ni iddynt hwy fel y cadwom
hwynt yn fyw, ac na byddo digofaint arnom ni
o herwydd y llw'r hwn a dyngasom wrthynt.
21 [g] A'r tywysogion a ddywedasant wrthynt,
Byddant fyw; a byddant yn torri cynnyd, ac yn
tynnu dwfr i'r holl gynnulleidfa; [a gwnaethant]
fel yr archase y tywysogion iddynt.
22 Yna Iosuah a alwodd arnynt, ac a lefarodd
wrthynt, gan ddywedyd, Pa ham y twyllasoch
ni? gan ddywedyd, Pell iawn [ydym] ni oddi wr-
thych, a chwithau yn presswylio yn ein mysc ni?
23 [h] Yn awr gan hynny melldigedic ydych;
ac ni phalla [bod rhai] o honoch chwi yn [gaeth]
weision, ac yn torrri cynnyd ac yn tynnu dwfr
i dŷ fy Nuw.
24 [i] A hwynt a attebasant Iosuah, ac a ddy-
wedasant, Yn ddiau gan fynegu y mynegwyd
i'th weision, ddarfod i'r Arglwydd dy Dduw
orchymyn i [*] Moses ei was roddi i chwi'r holl
wlad hon, a difetha holl drigolion y wlad o'ch
blaen chwi; am hynny yr ofnasom ni yn ddir-
fawr rhagoch am ein heinioes, ac y gwnaethom
y peth hyn.
25 Ac yn awr wele ni yn dy law di; fel [y gwel-
ech] yn dda ac yn inion yn dy olwg wneuthur
i ni, [felly] gwna.
26 Ac felly y gwnaeth efe iddynt; ac efe ai
gwaredodd hwynt o law meibion Israel fel na
laddasant hwynt.
27 [j] Ac Iosuah ai rhoddodd hwynt y dwthwn
hwnnw yn gymmyn-wŷr coed, ac yn wehen-wŷr
dwfr i'r gynnulleidfa, ac i allor yr Arglwydd
hyd y dydd hwn yn y lle'r hwn a ddewisase efe.

## PEN. X.

*Iosuah yn gorchfygu pum brenin. 12 Yn cael gan Dduw beri i'r haul sefyll yn ei un lle. 26 Yn crogi y pum brenin, ac yn dinistrio eu dinasoedd hwynt.*

A PHAN glybu Adonizedec brenin Ierusa-
lem i Iosuah ennill Ai, ai difrodi hi, (fel y
[*] gwnelse efe i Iericho, ac iw brenin, felly y
gwnaethe efe i Ai, ac iw brenin) ac heddychu o
drigolion Gibeon ag Israel, a bod [yr Israeliaid]
yn eu mysc hwynt,
2 [k] Yna'r ofnasant yn ddirfawr, o blegit dinas
fawr [oedd] Gibeon, fel un o'r dinasoedd bren-
hinol; ac o herwydd mwy [ydoedd] hi nac Ai,
ei holl wŷr hefyd [oeddynt] gedyrn.
3 [l] Am hynny Adonizedec brenin Ierusalem a
anfonodd at Hoham brenin Hebron, ac at Biram
brenin Iarmuth, at Iaphia hefyd brenin Lachis,
ac at Dabir brenin Eglon, gan ddywedyd,
4 [m] Deuwch i fynu attafi, a chynnorthwywch
fi fel y tarawom ni Gibeon; canys hi a hedd-
ychodd ag Iosuah, ac â meibion Israel.
5 [n] Am hynny pum brenin yr Amoriaid a ym-
gynnullasant ac a ddaethant i fynu, [sef] brenin
Ierusalem, brenin Hebron, brenin Iarmuth,
brenin Lachis, [a] brenin Eglon, hwyntwy ai
holl fyddinoedd; a gwerssyllasant wrth Gibeon,
a rhyfelasant yn ei herbyn hi.
6 A gwŷr Gibeon a anfonasant at Iosuah i'r
gwerssyll i Gilgal gan ddywedyd, Na thynn
ymmaith dy ddwylo oddi wrth dy weision; ty-
red i fynu yn fuan attom ni, achub ni hefyd a
chynnorthwya ni, canys holl frenhinoedd yr
Amoriaid y rhai ydynt yn trigo yn y mynydd-
dir a ymgynnullasant i'n herbyn ni.
7 Felly Iosuah a escynnodd o Gilgal, efe a'r
holl bobl ryfelgar gyd ag ef, a'r holl gedyrn
nerthol.
8 [o] A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Iosuah,
Nac ofna rhagddynt hwy canys yn dy law di y
rhoddais hwynt; ni saif neb o honynt yn dy
wyneb di.
9 Iosuah gan hynny a ddaeth yn ddiatrec at-
tynt hwy; [canys] ar hyd y nos yr aeth efe i fynu
o Gilgal.
10 [p] A'r Arglwydd ai dryllioddd hwynt o flaen
Israel, ac ai tarawodd hwynt â phla mawr yn

Gibeon; ac ai hymlidiodd hwynt ffordd yr eir i
fynu i Beth-horon, ac ai tarawodd hwynt hyd
Azeca, ac hyd Macceda.
11 q Pan oeddynt yn ffoi o flaen Israel [a]
hwynt yng-oriwared Beth-horon, yna 'r Ar-
glwydd a fwriodd arnynt hwy gerric mawrion
o'r nefoedd hyd Azeca, fel y buont feirw; am-
lach [oedd] y rhai a fuant feirw gan y cerric
cenllysc, na'r rhai a laddodd meibion Israel â'r
cleddyf.
12 r Yna y llefarodd Iosuah wrth yr Ar-
glwydd, y dydd y rhoddodd yr Arglwydd yr
Amoriaid o flaen meibion Israel; ac efe a ddy-
wedodd yng-olwg Israel; O haul aros yn Gibeon,
a'r lleuad yn nyffryn Aialon.
13 A'r * haul a arhosodd, a'r lleuad a safodd,
nes i'r genedl ddial ar ei gelynnion, onid yw hyn
yn scrifennedic yn llyfr yr iniawn? felly 'r haul
a safodd yng-hanol y nefoedd, ac ni fryssiodd i
fachludo dros ddiwrnod cyfan.
14 t Ac ni bu y fath ddydd a hwnnw oi flaen
ef, nac ar ei ol ef, fel y gwrandawe yr Arglwydd
ar lef dŷn: canys yr Arglwydd a ymladdodd
dros Israel.
15 Yna Iosuah a ddychwelodd, a holl Is-
rael gyd ag ef i'r gwerssyll i Gilgal.
16 u Ond y pum-brenin hynny a ffoasant: ac a
ymguddiasant mewn ogof ym Macceda.
17 A mynegwyd i Iosuah gan ddywedyd, Y
pum brenin a gafwyd yng-hudd yn ogof Mac-
ceda.
18 v Yna y dywedodd Iosuah, treiglwch feini
mawrion ar safn yr ogof: a gosodwch wrthi wŷr
iw cadw hwynt.
19 w Ac na sefwch chwi, erlidiwch ar ol eich
gelynnion a threwch y rhai olaf o honynt: na
adewch iddynt ddyfod iw dinasoedd, canys yr
Arglwydd eich Duw ai rhoddodd hwynt yn
eich llaw chwi.
20 A phan ddarfu i Iosuah, a meibion Israel
eu taro hwynt â phla mawr iawn nes eu difa:
yna y gweddillion [y rhai] a adawsid o honynt
a ddaethant i'r dinasoedd caeroc.
21 x A'r holl bobl a ddychwelasant i'r gwers-
syll at Iosuah ym Macceda yn heddychlon, heb
symmud o neb ei dafod yn erbyn meibion Israel.
22 Ac Iosuah a ddywedodd, Agorwch enau
yr ogof: a dygwch allan y pum brenin hynny
attaf fi o'r ogof.
23 A hwynt a wnaethant felly, ac a ddugas-
ant allan y pum brenin atto ef o'r ogof: sef bre-
nin Ierusalem, brenin Hebron, brenin Iarmuth,
brenin Lachis, [a] brenin Eglon.
24 y A phan ddugasant hwy y brenhinoedd
hynny at Iosuah, yna Iosuah a alwodd am holl
wŷr Israel, ac a ddywedodd wrth dywysogion
y rhyfelwŷr y rhai a aethent gyd ag ef, Nessewch,
gosodwch eich traed ar wddfau y brenhinoedd
hynn: a hwynt a nessasant, ac a osodasant eu
traed ar eu gyddfau hwynt.
25 z Yna Iosuah a ddywedodd wrthynt, Nac z1Sam.17
ofnwch, ac nac arswydwch: [eithr] ymwrol- 37
wch ac ymegniwch, canys fel hyn y gwna 'r Ar- 2 Cor. 1, 10
glwydd i'ch holl elynnion y rhai 'r ydych chwi 2Tim. 4, 17, 21
yn ymladd iw herbyn. Sal. 73, 7 a 77, 11
26 a Ac wedi hyn Iosuah ai tarawodd hwynt, Rhuf.4,5
ac ai rhoddodd i farwolaeth, crogodd hwynt 2 Tim. 1, 20
hefyd ar bum-prenn: a buant yn-hrog ar y pren- a Pen. 8, 29
nau hyd yr hwyr. Sal.149,8
27 Ac ym mhryd machludiad yr haul y * gor- * Pen. 7
chymynnodd Iosuah iddynt eu descyn hwynt 26 a 8, 29
oddi ar y prennau, ai bwrw hwynt i'r ogof yr Deut.21,
hon yr ymguddiasent ynddi: a bwriasant gerric 23
mawrion ar enau 'r ogof [y rhai ydynt yno] hyd
gorph y dydd hwn.
28 b Iosuah hefyd a ennillodd Macceda y bAdn 40 Pen. 11,
dwthwn hwnnw, ac ai tarawodd hi â min y 11 Deut.20,
cleddyf, ac a ddifrododd ei brenin hi gyd a 16, 17
hwynt, a phob enaid a'r [oedd] ynddi, ni adaw-
odd efe [un] gweddill: canys efe a wnaeth i fren-
in Macceda, * fel y gwnaethe i frenin Iericho. * Pen. 6, 21
29 c Yna yr aeth Iosuah a holl Israel gyd ag cPen.15,
ef o Macceda i Libna: ac a ymladdodd yn er- 42
byn Libna.
30 A'r Arglwydd ai rhoddodd hi hefyd ai
brenin yn llaw Israel, ac yntef ai tarawodd hi â
min y cleddyf, a phob enaid a'r [oedd] ynddi, ni
adawodd ynddi [un] yng-weddill: canys efe a
wnaeth iw brenin hi fel y gwnelse i frenin Iericho.
31 d Ac Iosua a drammwyodd a holl Israel dPen.15,
gyd ag ef o Libna i Lachis: ac a werssyllodd 29
wrthi, ac a ymladdodd i'w herbyn.
32 A'r Arglwydd a roddodd Lachis yn llaw
Israel, yr hwn ai ennillodd hi yr ail dydd, ac ai
tarawodd hi â min y cleddyf, a phob enaid
a'r [oedd] ynddi: yn ol yr hyn oll a wnaethe efe
i Libna.
33 e Yna Horam brenin Gezer a ddaeth i fynu i ePen 16,
gynnorthwyo Lachis: ond Iosuah ai tarawodd ef 3, 10 Barn. 1,
ai bobl fel na adawyd iddo ef [un] yng-weddill. 19
34 f Ac Iosuah a dramwyodd ai holl bobl gyd fPen.15,
ag ef o Lachis i Eglon: ac a werssyllasant wrthi, 17
ac a ymladdasant iw herbyn.
35 A hwynt ai hennillasant hi y diwrnod hwn-
nw, a tharawsant hi â min y cleddyf, ac efe a
ddifrododd bob enaid a'r [oedd] ynddi y dwthwn
hwnnw: yn ol yr hyn oll a wnaethe efe i Lachis.
36 g Yna'r escynnodd Iosuah a holl Israel gyd g Num 13, 22
ag ef o Eglon i Hebron: a rhyfelasant i'w herbyn. Gen. 13,
37 Pan ennillasant hi, yna hwy ai tarawsant hi 18
â min y cleddyf, ai brenin, ai holl ddinasoedd,
a phob enaid a'r [oedd] ynddi, ni adawodd efe
[un] yn weddill, yn ol yr hyn oll a wnaethe efe i
Eglon: canys efe ai difrododd hi, a phob enaid

a'r [oedd] ynddi.
38 Yna Iosuah a ddychwelodd, a holl Israel
gyd ag ef i Dabir, ac efe a ymladdodd iw herbyn.
hBarn.1, 12 39 [h] Pan ennillodd efe hi, ei brenin, ai holl ddi-
nasoedd, yna hwynt ai tarawsant â min y cleddyf,
ac a ddifrodasant bob enaid a'r [oedd] ynddi, ni
adawodd efe [un] yng-weddill: fel y gwnaethe
efe i Hebron, felly y gwnaeth efe i Dabir ac iw
brenin, ac megis y gwnelse efe i Libna ac iw
brenin.
40 Felly y tarawodd Iosuah yr holl fynydd-dir
a'r dehau, y gwastadedd hefyd a'r bronnydd, ai
holl frenhinoedd, ni adawodd efe [un] yng-we-
ddill; eithr efe a ddifrododd bob perchen anadl,
fel y gorchymynnase Arglwydd Dduw Israel.
iNum.32, 8 Gen. 10, 19 Pen 11, 16 41 [i] Felly Iosuah ai tarawodd hwynt o Cades
Barnea hyd Azza: a holl wlad Gosen hyd Gi-
beon.
42 Yr holl frenhinoedd hyn hefyd ai gwledydd
a ennillodd Iosuah ar un-waith: canys Arglwydd
Dduw Israel oedd yn ymladd tros Israel.
43 Yna y dychwelodd Iosuah a holl Israel
gyd ag ef i'r gwersyll yn Gilgal.

## PEN. XI.

*Iosuah yn gorchfygu brenhinoedd eraill y rhai a ddaethent yn ei erbyn ef.*

jPen. 15, 23 Esa. 25, 11 Ier. 5, 3 Pen 19,15 a 12, 20 A PHAN [j] glybu Iabin brenin Hazor [y pethau
hynny:] yna efe a anfonodd at Iobab brenin
Madon, ac at frenin Simron, ac at frenin Acsaph.
kPen 17, 11 Luc. 5, 1 Num. 34, 11 2 [k] Ac at y brenhinoedd y rhai [oeddynt] o du
yr gogledd [i'r wlad], yn y mynydd-dir, ac yn y
rhosdir [tua]'r dehau i Ceneroth, ac yn y gwas-
tadedd, ac yn ardaloedd Dor tua'r gorllewyn.
lDeut. 4, 8 Gen. 31, 49 3 [l] [At] y Canaaneaid o'r dwyrain a'r gorllewyn,
a'r Amoriaid, a'r Hethiaid, a'r Phereziaid, a'r
Iebusiaid yn y mynydd-dir, ac [at] yr Hefiaid,
tann * Hermon yng-wlad Mispah.
mDat. 16 14 Sal. 2,1,2 Esa. 8, 9 10 Sa. 20, 8 a 83, 5, 8 4 [m] A hwynt a aethant allan, ai holl fyddin-
oedd gyd a hwynt, pobl lawer fel y tyfod yr hwn
[sydd] ar fin y môr o amldra: meirch hefyd, a
cherbydau lawer iawn.
5 A'r holl frenhinoedd hyn a ymgyfarfuant:
daethant hefyd a gwerssyllasant ynghyd wrth
ddyfroedd Merom, i ymladd yn erbyn Israel.
n Deut. 17, 16 Barn.7,2 2Sam.8.4 6 [n] Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Iosu-
ah, Nac ofna rhac-ddynt hwy, canys y fory yng-
hylch y pryd hyn y rhoddaf hwynt oll yn lladd-
edig o flaen Israel: lliynanau garrau eu meirch
o1 Thes. 5, 2, 3 hwynt a dorri, ai cerbydau hwynt a losci di â thân.
7 [o] Yna Iosuah a ddaeth a'r holl bobl ryfeloc
gyd ag ef yn ddisymmwth arnynt hwy wrth
ddyfroedd Merom: ac a ruthrasant iddynt.
pGen. 10, 15 Zec. 9, 2 8 [p] A'r Arglwydd ai rhoddodd hwynt yn llaw
Israel, fel y tarawsant hwynt, ac yr erlidiasant
hwynt hyd Sidon fawr, ac hyd Misrephothmaim,
ac hyd glynn Mispah o du'r dwyrain: a tharaw-
odd hwynt fel na adawodd efe o honynt [un]
yng-weddill.
9 [q] Ac Iosuah a wnaeth iddynt fel yr archase'r q Sal. 46
Arglwydd iddo ef: lliynnau garrau eu meirch
hwynt a dorrodd efe, ai cerbydau a loscodd â
thân.
10 [r] Iosuah y pryd hynny a ddychwelodd, ac r Pen 15, 23
a ennillodd Hazor, ac a darawodd ei brenin â'r Neh. 11,
cleddyf: canys Hazor o'r blaen oedd benn yr holl 23
deyrnasoedd hynny.
11 Tarawsant hefyd bob enaid a'r [oedd] yn-
ddi â min y cleddyf, gan [eu] difrodi [hwynt:]
ni adawyd un perchen anadl: ac efe a loscodd
Hazor â thân.
12 Felly holl ddinasoedd y brenhinoedd hyn-
ny, ai holl frenhinoedd hwynt a ennillodd Iosuah,
ac ai tarawodd â min y cleddyf gan eu difrodi
hwynt; * megis y gorchymynnase Moses gwas * Num. 33, 52
yr Arglwydd. Deut.
13 Ond ni loscodd Israel yr un o'r dinasoedd
y rhai oeddynt yn sefyll ar eu pelannau, namyn
Hazor yn unic a loscodd Iosuah.
14 [s] A holl anrhaith y dinasoedd hynny, a'r s Deut.
anifeiliaid a sclyfaethodd meibion Israel iddynt 25
eu hun: yn unic pob dyn a darawsant hwy â
min y cleddyf, nes iddynt eu difetha hwynt, ni
adawsant berchen anadl.
15 * Fel y gorchymynnase'r Arglwydd i Moses * Ex. 11
ei was, felly y gorchymynnodd Moses i Iosuah: Deut.
ac felly y gwnaeth Iosuah, ni thynnodd efe ym-
maith air o'r hyn oll a orchymynnase yr Ar-
glwydd i Moses.
16 [t] Felly Iosuah a ennillodd yr holl fynydd- t Pen. 41
dir hwnnw, a'r holl ddehau, a holl wlad Gosen
a'r gwastadedd, a'r rhossydd, a mynydd Israel,
ai wastadedd.
17 O fynydd Halac yr hwn sydd yn myned i
fynu i Seir, hyd Baal Gad yng-lynn Libanus
tann fynydd Hermon: ai holl frenhinoedd hwynt
a ddaliodd efe, tarawodd hwynt hefyd a rhodd-
odd hwynt i farwolaeth.
18 [u] Iosuah a gynhaliodd ryfel yn erbyn yr u Pen. 7, 10
holl frenhinoedd hynny ddyddiau lawer. * Pen. 3
19 Nid oedd dinas a'r a heddychodd â meib-
ion Israel heb law 'r Hefiaid presswylwŷr Gi-
beon: yr holl rai [eraill] a ennillasant hwy drwy
ryfel.
20 [v] Am ddarfod i'r Arglwydd galedu eu cal- v Ex.
on hwynt i gyfarfod ag Israel mewn rhyfel fel y Rhuf. 18
difrodent hwynt, ac na fydde iddynt drugaredd: 1 Bren. 15
onid eu difetha hwynt fel y gorchymynnase yr Sal.
Arglwydd wrth Moses.
21 [w] A'r pryd hynny y daeth Iosuah ac a ddi- w Ier. 25
fuodd yr Anaciaid o'r mynydd-dir, o Hebron, o Amos 2, 3
Dabir, o Anab, ac o holl fynydd Iuda, ac o holl
fynydd Israel: Iosuah ai difrododd hwynt ai
dinasoedd.
22 Ni adawyd [un o'r] Anaciaid yng-wlad

meibion Israel: yn unic yn Azzah, yn Gath, ac
yn Asdod y gadawyd hwynt.
Num 23 * Felly Iosuah * a gymmerth yr holl wlâd
yn ol yr hyn oll a lefarase yr Arglwydd wrth
Moses, ac Iosuah ai rhoddodd hi yn etifedd-
iaeth i Israel, yn ol eu rhannau hwynt drwy eu
llwythau: a'r wlad a orphywysodd heb ryfel.

## PEN. XII.

*Pa frenhinoedd a orchfygodd Israel o'r tu hwnt i'r Iorddonen.*

DYMMA [y] frenhinoedd y wlad [honno] y
rhai a darawodd meibion Israel, ac a or-
escynnasant eu gwlad hwynt o'r tu hwnt i'r
Iorddonen tua chodiad yr haul: o afon Arnon
hyd fynydd Hermon, a'r holl ros dir tua'r dwy-
rain.
2 * Sehon brenin yr Amoriaid [a] yr hwn oedd
yn trigo yn Hesbon, yn arglwyddiaethu o Ar-
oer yr hon [sydd] ar fin yr afon Arnon, ac [o]
ganol yr afon, ac [o] hanner Gilead hyd yr afon
Iabboc [ym] mro meibion Ammon.
3 Ac o'r rhos hyd fôr Ceneroth o du'r dwy-
rain, ac hyd for y rhos, sef y mor hêli o du'r dwy-
rain tua Bethiesimoth: ac o du 'r deau * [a] tanu
frounydd y brynn.
4 A goror Og brenin Basan [yr hwn oedd]
* o weddill y cawri, [b] yn trigo yn Astaroth ac
yn Edrai.
5 [c] Ac efe oedd yn arglwyddiaethu ym my-
nydd Hermon, ac yn Salach, ac yn holl Basan
hyd terfyn y Gessuriaid, a'r Maacathiaid: a han-
ner Gilead [hyd] derfyn Sehon brenin Hesbon.
6 [d] Moses gwas yr Arglwydd a meibion Is
rael ai tarawsant hwy: a * Moses gwas yr Ar-
glwydd ai rhoddodd hi yn etifeddiaeth i'r Ru-
beniaid, ac i'r Gadiaid, ac i hanner llwyth Ma-
nasses.
7 * Dymma hefyd frenhinoedd y wlad [hon] y
rhai a darawodd Iosuah a meibion Israel o'r tu
ymma i'r Iorddonen tua'r gorllewyn o Baal Gad
yng lynn Libanus hyd fynydd Halac yr hwn sydd
yn myned i fynu i [f] Seir: ac Iosuah ai rhoddodd hi
i lwythau Israel yn etifeddiaeth yn ol eu rhannau.
8 Yn y mynydd, ac yn y gwastadedd, yn y
rhosdir hefyd, ac yn y bronnydd, ac yn yr anial-
wch, ac yn y dehau: [lle'r oedd] yr Hethiaid, yr
Amoriaid, a'r Canaaneaid, y Phereziaid, yr
Hefiaid, a'r Iebusiaid.
9 * Brenin Iericho yn un: brenin Ai 'r hwn
[oedd] o ystlys Bethel yn un.
10 [g] Brenin Ierusalem yn un: brenin Hebron
yn un.
11 Brenin Iarmuth yn un: brenin Lachis yn un.
12 [h] Brenin Eglon yn un: brenin * Gezer yn un.
13 Brenin * Dabir yn un: brenin Geder yn un.
14 [i] Brenin Horma yn un: brenin Arad yn un.
15 Brenin * Libna yn un: brenin Adulam yn un.
16 Brenin * Maccedah yn un: brenin Bethel
yn un.
17 [j] Brenin Tapuah yn un: brenin Hepher yn un. j Pen 15, 34
18 [k] Brenin Aphec yn un: brenin Lassaron yn un. Pen. 19, 13
19 Brenin Madon yn un: brenin * Hazor yn un. k 1 Sam. 4, 1
20 Brenin Simron Meron yn un: brenin Acs- Esa. 33, 9
aph yn un. * Pen. 11, 1. a 11, 10
21 Brenin Taanah yn un: brenin Megido yn un.
22 Brenin Cades yn un: brenin Iocneam o
Garmel yn un.
23 Brenin Dor o ardal Dor yn un: * brenin y
cenhedloedd o Gilgal yn un.
24 Brenin Tirzah yn un: yr holl frenhinoedd
[oeddynt] un ar ddec ar hugain.

## PEN. XIII.

*Rhaniad tir Canaan rhwng llwythau Israel. 14 Rhan y Lefiaid. 22 Dihenydd Balaam.*

PAN [l] heneiddiodd Iosuah [a] phwyso o l Deut. 31, 23
honaw mewn oedran; yna y dywedodd yr
Arglwydd wrtho ef, Ty di a heneiddiaist, daeth-
ost i ddyddiau [oedranus,] a thir lawer iawn a
adawyd i'w orescyn.
2 [m] Dymma y wlad yr hon a adawyd: holl m Gen. 14, 14
orwledydd y Philistiaid, a holl Gessuri. Deut. 2, 23
3 [n] O'r [afon] Sihor yr hon [sydd yn rhedec] 2 Sam. 3, 3
ar hyd wyneb yr Aipht hyd derfyn Eccron tua a 15, 8
'r gogledd a gyfrifir i'r Canaaneaid: [gwlad] n Num. 34, 5
pum tywysog, y Philistiaid, yr Azzathiaid, a'r Deut. 2, 23
Asdodiaid, yr Esceloniaid, y Githiaid, yr Ec-
ceroniaid, a'r Hefiaid.
4 O du 'r dehau holl wlad y Canaaneaid a'r
ogof yr hon [oedd] ym mysg y Sidoniaid hyd
Aphec [ac] hyd terfyn yr Amoriaid.
5 [o] A gwlad y Gibeliaid, a holl Libanus tua o 1 Bren. 5, 18
chyfodiad yr haul o Baal Gad tann fynydd Sal. 83, 7
Hermon: nes dyfod i Hemath. Ezec. 27, 9
6 Holl bresswylwyr y mynydd o Libanus hyd Deut. 1, 7
* Misrephotmaim a'r holl Sidoniaid, myfi ai gor- Ioan 11, 17
escynnaf hwynt o flaen meibion Israel: yn unic Esa. 10 9
rhanna hi i Israel yn etifeddiaeth fel y gorchym- Amos 6 2
ynnais i ti. * Pen 11, 8
Sal. 44, 3
7 [p] Ac yn awr rhanna y wlad hon yn etifedd- p Act 1
iaeth i'r naw llwyth hyn; ac i hanner llwyth 2 Pedr 1, 13
Manasses. Gal. 6, 10
8 Y Rubenniaid hefyd a'r Gadiaid a gym-
merasant eu etifeddiaeth gyd * â hi: yr hon a * Num. 32, 33
roddodd Moses iddynt hwy o'r tu hwnt i'r Ior- Deut. 3, 13
ddonen tu a'r dwyrain fel y rhoddase Moses Pen 4, 12
gwas yr Arglwydd iddynt.
9 [q] O Aroer yr hon [sydd] ar fin afon Arnon q Num 21, 30
a'r ddinas yr hon [sydd] yng-hanol y dyffryn, a Esa. 15, 2
holl wastadedd Medebah hyd Dibon. Num. 33, 45
10 A holl ddinasoedd Sehon brenin yr Amor-
iaid yr hwn a deyrnasodd yn Hesbon; hyd ardal
meibion Ammon.
11 [r] Gilead hefyd, a therfyn y Gesuriaid y r Gen. 31, 21
Maachiaid hefyd, a holl fynydd Hermon, a holl 1 Sam. 23, 24
Iacson hyd Salca.
12 Holl frenhiniaeth Og yn Basan, yr hwn a
deyrnasodd yn Astaroth, ac yn Edrai; efe a ad-

*Pen 12, 4 awyd*o weddill y cawri, canys Moses ni tharaw-
Deut. 3, 11 se hwynt, ac ai gorescynnase.
s Num. 33, 55 13 [s] Ond meibion Israel ni orescynnasant y
Pen 23, 13 Gessuriaid na'r Maachiaid; eithr trigodd y Ges-
Barn. 2, 3 suriaid, a'r Maachiaid ym mhlith Israel hyd y
dydd hwn.
*Num. 18, 20 14 Yn unig i lwyth Lefi * ni roddodd efe etif-
1 Cor. 9, 13 eddiaeth: [eithr] aberthau tanllyd Arglwydd
Dduw Israel oedd ei etifeddiaeth ef, fel y llef-
arase efe wrtho.
15 A Moses a roddase i lwyth meibion Ru-
ben [etifeddiaeth] drwy eu teuluoedd.
t Num. 32, 34 16 [t] Ai terfyn hwynt oedd o Aroer yr hon
[sydd] ar fin afon Arnon, a'r ddinas yr hon
[sydd] yng-hanol y dyffryn a'r holl wastadedd
hyd Medeba.
u 1 Cron 6, 81 17 [u] Hesbon hefyd ai holl ddinasoedd y rhai
Num. 22, 41 [ydynt] yn y gwastadedd; Dibon a Bamoth Baal,
a Beth baal Meon.
v Esa. 15, 4 18 [v] Iahaza hefyd a Chedemoth, a Mephaah.
19 Ciriathaim hefyd a Sibmah, a Sereth Sahar
ym mynydd-dir y glynn.
* Num. 25, 3 20 Beth-Peor * hefyd, a bronnydd y brynn, a
Deut. 3, 17 Beth Iesimoth.
Ezec. 25, 9 21 [w] A holl ddinasoedd y gwastadedd, a holl
frenhiniaeth Sehon brenin yr Amoriaid yr hwn
Num. 32, 8 a deyrnasodd yn Hesbon; yr hwn a ddarfuase
w Phil. 3, 1 i Moses ei daro, a thywysogion Midian, Efi, a
1 Tim. 4, 1 Recem, Zur hefyd, a Hur, a Reba, pendefigion
Tit. 3, 10 Mat. 7, 15 Sehon [y rhai] oeddynt yn presswylio y wlad.
2 Pedr. 2, 1, 2 22 [x] Balaam hefyd fab Beor, y dewin, a laddodd
x Num. 24, 25 meibion Israel â'r cleddyf gyd ai lladdedigion
1 Thes. 2, 8 hwynt.
Dat. 19, 20 23 A therfyn meibion Ruben oedd yr Iordd-
2 Pedr. 2, 15 onen ai therfyn; dymma etifeddiaeth meibion
Num. 24, 14 Ruben yn ol eu teuluoedd, y dinasoedd ai trefi.
24 Moses hefyd a roddodd i lwyth Gad [sef et-
ifeddiaeth] i feibion Gad drwy eu teuluoedd.
y Num 32, 1, 2 25 [y] Ac Iaser oedd derfyn iddynt hwy, a holl
Pen 21, 39 ddinasoedd Gilead, a hanner gwlad meibion
Num. 21, 26 Ammon; hyd Aroer yr hon [sydd] ar gyfer
Deut. 2, 19 [z] Rabbah.
Barn. 11, 15 26 [a] Ac o Hesbon hyd Ramath, Mispah, a Be-
tonim; ac o Mahanaim hyd gyffinid Dabir.
z 2 Sam. 12, 26 27 [b] Ac yn nyffryn Betharam, a Betbnimrah,
a Pen. 20, 8 Succoth hefyd a Saphon, gweddill brenhiniaeth
Gen. 32, 1, 2 Sehon, brenin Hesbon, [hyd] yr Iorddonen ai
Pen. 15, 15 therfyn; hyd gwrr môr Ceneroth o'r tu hwnt i'r
b Num. 32, 36 Iorddonen o du'r dwyrain.
a 32, 3 28 Dymma etifeddiaeth meibion Gad yn ol eu
teuluoedd; y dinasoedd ai trefydd.
29 Moses hefyd a roddodd [etifeddiaeth] i
hanner llwyth Manasses; a bu [r etifeddiaeth
honno] i hanner llwyth meibion Manasses yn ol
eu teuluoedd.
c 1 Cron 2, 21, 22 30 [c] Ai terfyn hwynt oedd o Mahanaim [sef]
Num. 32, 41 holl Basan, [nid amgen] holl frenhiniaeth Og
brenin Basan tri ugain dinas.
31 [d] A hanner Gilead, ac Asteroth, ac Edrei
dinasoedd brenhinoedd Og yn Basan [*a rodd-
odd efe] i feibion Machir mab Manasses, dros
hanner meibion Machir yn ol eu teuluoedd.
32 Dymma [r etifeddiaethau] y rhai a rodd-
odd Moses iw etifeddu yn rhossydd Moab, am
yr Iorddonen ag Iericho o du'r dwyrain.
33 Ond * i lwyth Lefi ni roddodd Moses eti-
feddiaeth: Arglwydd Dduw Israel yw eu hetif-
eddiaeth hwynt, fel * y llefarodd efe wrthynt."

## PEN. XIV.

*Naw llwyth a hanner yn cael tir Canaan ei gyd. 6 Rhan Caleb.*

"DYMMA hefyd y [lleoedd] y rhai a
etifeddodd meibion Israel yng-wlad
Canaan: * y rhai a roddodd Eleazar yr offeiriad,
ac Iosuah mab Nun, a phennau cenedl llwythau
meibion Israel iddynt hwy i'w etifeddu.
2 * Wrth goel-bren [e] eu hetifeddiaeth hwynt:
fel y gorchymynnase'r Arglwydd drwy law
Moses [eu rhoddi] i'r naw llwyth, ac i'r hanner
llwyth.
3 [f] Canys Moses a roddase etifeddiaeth i ddau
lwyth, ac i hanner llwyth o'r tu hwnt i'r Ior-
ddonen: ond i'r Lefiaid ni roddase efe etifedd-
iaeth yn eu mysg hwynt.
4 [g] Canys meibion Ioseph oeddynt ddau
lwyth, Manasses, ac Ephraim: am hynny ni
roddasant rann o'r tir i'r Lefiaid, onid dinas-
oedd i drigo, a'r meusydd pentrefol i'w hanifeil-
iaid hwynt, a'i golud.
5 * Fel y gorchymynnase yr Arglwydd i Moses,
felly y gwnaeth meibion Israel, pan rannasant
y wlad.
6 [h] Yna meibion Iuda a ddaethant at Iosuah
yn Gilgal, a Chaleb mab Iephun y Ceneziad a
ddywedodd wrtho ef, Tydi a wyddost y gair yr
hwn a lefarodd yr Arglwydd wrth Moses gwr
Duw o'm plegit i, ac o'th blegit dithe yn Cades
Barnea.
7 [i] Mab deugain mlwydd oeddwn i pan an-
fonodd Moses gwas yr Arglwydd fyfi o Cades
Barnea i edrych ansodd y wlad: a dugum air
iddo ef trachefn, fel [yr oedd] yn fyng-halon.
8 [j] Ond fy mrodyr y rhai a aethant i fynu gyd
a mi a ddigalonnasant y bobl: etto myfi a gyf-
lawnais [fyned] ar ol yr Arglwydd fy Nuw.
9 [k] Am hynny y tyngodd Moses y diwrnod
hwnnw, gan ddywedyd, Oni bydd y wlad yr hon
y sathrodd dy droed ynddi yn etifeddiaeth i ti ac
i'th feibion hyd byth, [nid geir-wir fi:] am it gyf-
lawni [myned] ar ol yr Arglwydd dy Dduw.
10 Ac yn awr wele'r Arglwydd a'm cadwodd
yn fyw fel y llefarodd efe, dymma y bummed
flwyddyn a deugain er pan lefarodd yr Ar-
glwydd y gair hwn wrth Moses, tra y rhodiodd
Israel yn yr anialwch: ac yn awr wele fi heddyw

yn fab pum mlwydd a phedwar ugain.
Deut.31. 11 [l] Yr ydwyf etto mor gryf heddyw a'r dydd
Sal.122,8 yr anfonodd Moses fi, fel [yr oedd] fy nerth i
yna, felly [y mae] fy nerth i yn awr, i ryfela, ac i
fyned allan, ac i ddyfod i mewn.
nSal.18, 12 [m] Yn awr gan hynny dyro i mi y mynydd
2, 34 60, 12 ymma, am yr hwn y llefarodd yr Arglwydd y
hof. 8, dwthwn hwnnw; canys ti a glywaist y dwthwn
hil.4,13 hwnnw fod yr Anaciaid yno, a dinasoedd mawr-
Sam.14 ion caerog, ond odid yr Arglwydd [fydd] gyd a
um.21, mi, fel y gorescynnwyf hwynt megis y llefarodd
yr Arglwydd.
Pen 22, 13 [n] Yna Iosuah ai bendithiodd ef, ac a rodd-
an. 6, 9 odd Hebron iCaleb mab Iephun yn etifeddiaeth.
n21.11 Pen.10, 14 [o] Am hynny y mae Hebron yn etifedd-
iaeth i Caleb fab Iephun y Ceneziad hyd y dydd
hwn: o herwydd iddo ef gwplau [myned] ar ol
Arglwydd Dduw Israel.
Gen.21 15 [p] Ac enw Hebron o'r blaen [oedd] Caer
n. 13, Arba, yr [Arba hwnnw] oedd ddyn mawr ym
n. 11, mysc yr Anaciaid: yna y wlad a orphywysodd
a15,13 heb ryfel.

## PEN. XV.

*Rhan meibion Iuda. 19 A dymuniad Achsah.*

en 14, 6 AC [q] etifeddiaeth llwyth meibion Iuda oedd
m.20, yn ol eu teuluoedd: * tua therfyn Edom,
m. [ar] anialwch Zin tua yr dehau o'r cwrr dehau.
36. 2 [r] A therfyn y dehau oedd iddynt hwy o gwrr
1, 3 n.14, y môr heli: o'r graig yr hon sydd yn wynebu
tua'r dehau.
um. 3 [s] Ac yr oedd yn myned allan o'r dehau hyd
8 1.14.7 riw Acrabim, ac yr oedd yn cyredd i Zin, ac yn
m.20, myned i fynu o du'r dehau i Cades Barnea: ac
yn myned hefyd i Hesron, ac yn escynnu i Ada-
rah, ac yn amgylchynu i Garcaa.
4 Ac yn cyredd i Asmon, ac yn myned tu ag
afon yr Aipht, a chyrrau y terfyn hwnnw oedd-
ynt tua'r gorllewyn: hyn fydd i chwi yn derfyn
tua'r dehau.
5 A'r terfyn tua'r dwyrain [yw]'r môr heli
hyd eithaf yr Iorddonen: a'r terfyn o du'r gog-
ledd [sydd] o graig y môr [ac] o gwrr yr Ior-
ddonen.
n 18, 18,20 6 [t] A'r terfyn hwn oedd yn myned i fynu i
Bethhogla, ac yn cyredd o'r gogledd hyd Beth-
Arabah: a'r terfyn hwn oedd yn myned i fynu
at faen Bohan mab Ruben.
n.7, 18,17 7 [u] A'r terfyn hwn sydd yn myned i fynu i
Dabir o ddyffryn Achor, a thua'r gorllewyn
yn edrych tua Gilgal, yr hon [sydd] o du'r de-
Bren. hau i'r afon: y terfyn hwn hefyd sydd yn myned
, 5 hyd ddyfroedd Ensemes, ai gwrr eithaf sydd
n.17, wrth * En-rogel.
rea. 8 [v] Yna'r terfyn hwn sydd yn myned i fynu
0 19,2 [drwy] ddyffryn meibion Hinnom gan ystlys
n.18, [dinas] y Iebusiaid o du'r dehau, honno [yw]
, 16 Ierusalem: y terfyn hwn hefyd sydd yn myned
i fynu i benn y mynydd yr hwn [sydd] o flaen
dyffryn Hinnom tua'r gorllewyn, yr hwn [sydd]
yng-hwrr glynn Rephaim tua'r gogledd.
9 [w] Felly y terfyn hwn sydd yn amgylchu o w Pen.18, 15
benn y mynydd hyd ffynnon y dyfroedd Neph- a 17, 15
thoah, ac sydd yn myned allan i ddinasoedd a 20, 7 a 9, 17
mynydd Ephron: y terfyn hwn hefyd sydd yn Barn.18,
tueddu i Baala, honno [yw] Ciriath-Iearim. 20
10 [x] Yna y terfyn hwn sydd yn amgylchynu x Barn.
o Baala tua'r gorllewyn i fynydd Seir, ac y 14, 15 2 Cron
sydd yn myned rhacddo at ystlys mynydd Iea- 28, 18
rim o du'r gogledd, honno [yw] Thesalon: felly
y mae yn descyn i Bethsemes, ac yn myned i
Thimnah.
11 [y] A'r terfyn hwn sydd yn myned i ystlys y Pen.19, 43, 44
Ecceron tua'r gogledd, y terfyn hwn sydd yn
tueddu i Sichron, ac yn myned rhacddo i fy-
nydd Baala, ac yn cyrheuddyd Iabneel: a
chyrrau eithaf y terfyn hwn ydynt [wrth] y môr.
12 A therfyn y gorllewyn [yw]'r môr mawr
ai derfyn: dymma derfyn meibion Iuda o am-
gylch drwy eu teuluoedd.
13 Ac i Galed fab Iephun y rhoddodd efe
ran ym mysc meibion Iuda yn ol gair yr Ar-
glwydd wrth Iosuah: sef * caer Arba (yr hwn *Pen.14, 13
[oedd] dad yr Anaciaid) honno [yw] Hebron.
14 A Chaleb a * yrrodd oddi yno dri mab *Barn.1, 10, 20.
Anac: Sesai, ac Ahiman, a Thalmai meibion
Anac.
15 [z] Ac efe a aeth i fynu oddi yno at drigolion z Adn.16 Pen. 10,
Dabir: ac enw Dabir o'r blaen [oedd] Ciriath 36
Sepher.
16 [a] Yna y dywedodd Caleb, Pwy bynnac a a 2 Tim. 4, 7, 8
darawo Ciriath Sepher, ac ai hennill hi; iddo 1 Cor. 9, 25
ef y rhoddaf Achsah fy merch yn wraig. Heb. 11, 26. a 12, 2
17 [b] Ac Othniel mab Cenaz brawd Caleb ai 1 Cor. 7.
hennillodd hi; yntef a roddodd Achsah ei ferch 37, 38
iddo ef yn wraig. Gen. 24, 51, 57
18 *A phan ddaeth hi i mewn [atto ef] yna hi Barn. 1, 11
ai annogodd ef i geisio gan ei thad [ryw] faes, 1Sam.17, 25
ac a ddescynnodd oddi ar yr assyn; a dywedodd b 1 Cron. 4, 13
Caleb wrthi, Beth [sydd] arnat? Num.36, 10
19 [c] Yna hi a ddywedodd [wrtho,] Dyro i mi *Barn.1,
rodd, canys gwlad y dehau a roddaist i mi, dyro 14
i mi hefyd ffynhonnau dyfroedd: a Chaleb a rodd- Gen. 24, 64
odd iddi y ffynhonnau uchaf, a'r ffynhonnau isaf. c Gen. 33, 11
20 Dymma etifeddiaeth llwyth meibion Iuda 1 Cron.4, 15
drwy eu teuluoedd.
21 [d] A'r dinasoedd o du eithaf llwyth meibion d Neh.11, 15
Iuda tua therfyn Edom ar du'r dehau oeddynt
Cabzeel, ac Eder, ac Iagur.
22 [e] Cina hefyd, a Dimonah, ac Adada. e Neh 11, 25
23 [f] Cedes hefyd, a Hazor, ac Iethnan. f Pen 19,
24 [g] Ziph hefyd, a Thelem, a Bealoth. 22. a 11 19 g 1 Sam.
25 Hazor hefyd, Hadatta, a Chiriath Hesron, 23, 14. a 26, 2
honno [yw] Hazor.
26 [h] Amam, ac Sema, a Molada. h Pen.19, 2

# LLYFR Y BARNWYR.

## PEN. I.

*1 Iuda wrth orchymyn yr Arglwydd yn blaenori yn y rhyfel yn erbyn y Canaaneaid, ac efe ac Ioseph yn gorchfygu yn rymmus Adonibezec, ac eraill. Llwfrdra y llwythau eraill.*

1 Sam. AC wedi marw Iosuah, meibion Israel a *
, 6 um. ymgynghorasant â'r Arglwydd gan ddy-
, 21 x.28,30 wedyd, Pwy a aiff i fynu drosom ni yn erbyn y
Canaaneaid, i ymladd â hwynt yn gyntaf?
Gen.49, 2 [a] A dywedodd yr Arglwydd, Iuda a aiff i
at. 19, fynu: wele rhoddais y wlad yn ei law ef.
1 an.7,14 3 [b] Ac Iuda a ddywedodd wrth Simeon ei
il.72,8 frawd, Tyret i fynu gyd a mi i'm rhan-dir, fel yr
os.19,1 d. 2,8 ymladdom yn erbyn y Canaaneaid, minne hefyd
an. 12, a âf gyd a thi i'th ran-dir dithe: felly Simeon a
am.10, aeth gyd ag ef.
1 Sam , 8 4 [c] Yna Iuda a aeth i fynu, a'r Arglwydd a
roddodd y Canaaneaid, a'r Phereziaid, yn eu
llaw hwynt: a lladdasant o honynt yn Bezec
ddeng-mil o wŷr.
5 A hwynt a gawsant Adonibezec yn Bezec,
ac a ymladdasant yn ei erbyn, ac a laddasant
y Canaaneaid a'r Phereziaid.
ef,24, 6 [d] Ond Adonibezec a ffôdd, a hwynt a erlid-
a. 33,1 iasant ar ei ol ef: daliasant ef hefyd, a thorras-
go2,13 ant fodiau ei ddwylaw ef ai draed.
al. 37, 7 [e] Ac Adonibezec a ddywedodd, Dec a thru-
at.7,2 gain o frenhinoedd wedi torri bodiau eu dwylo
am.15, ai traed a fuant yn casclu [briwsion] dan fy
uf. 2, mwrdd i; fel y gwneuthum, felly y talodd Duw
t. 13, i mi: felly hwynt ai dugasant ef i Jerusalem, ac
, a16,6 efe a fu farw yno.
8 A meibion Iuda a ymladdasant yn erbyn
Ierusalem, ac ai hennillasant hi, ac ai tarawsant
â min y cleddyf; a lloscasant y ddinas â thân.
os. 10, a11 21 9 [f] Wedi hynny meibion Iuda a aethant i wa-
15,8 red i ymladd yn erbyn y Canaaneaid, y rhai
oeddynt yn trigo yn y mynydd, ac yn y dehau,
ac yn y gwastadedd.
reg.9, 10 [g] Ac Iuda a aeth yn erbyn y Canaaneaid y
d 35,17 rhai oeddynt yn trigo yn Hebron, (ac enw Heb-
os. 15, ron o'r blaen [oedd] * Caer Arba;) a hwynt a
um.13, laddasant Sesai, ac Ahiman, a Thalmai.
11 Ac efe a aeth oddi yno at drigolion Dabir;
ac enw Dabir o'r blaen [oedd] Ciriath-sepher.
1 Sam. , 25 12 [h] A dywedodd Caleb, yr hwn a darawo
Giriath-sepher, ac ai hynnillo; mi a roddaf Ach-
sah fy merch yn wraig iddo.
Sam.16 13 [i] Yna * Othniel mab Cenaz, brawd Caleb,
en. 48, ieuangach nac ef, ai hennillodd: yntef a roddes
Ios. 15, Achsah ei ferch yn wraig iddo.
14 A phan ddaeth hi i mewn [atto ef] yna hi
ai hannogodd ef i geisio gan ei thad [ryw] faes,
ac a ddescynnodd oddi ar yr assyn: a dywed-
odd Caleb wrthi, Beth [a ddarfu] i ti?
15 [j] Yna hi a ddywedodd wrtho, Dyro i mi j Gen 33, 11
rôdd, canys gwlad y dehau a roddaist i mi, Heb. 6,7
dyro i mi hefyd ffynhonnau dyfroedd: a Chaleb
a roddodd iddi y ffynhonnau uchaf, a'r ffyn-
honnau isaf.
16 [k] A meibion Ceni chwegrwn Moses a aeth- k Ex.18,1
ant i fynu o ddinas y palm-wŷdd gyd a meibion
Iuda i anialwch Iuda'r hwn [sydd] yn nehau
Arad: ac aethant, a thrigasant gyd a'r bobl.
17 [l] Ac Iuda a aeth gyd a Simeon ei frawd, l 2 Cron 14, 10
ac a darawsant y Canaaneaid y rhai oeddynt Ios. 15,
yn presswylio Sephath: ac ai difrodasant hi, ac 30
efe a alwodd enw'r ddinas * Hormah.
18 [m] Felly Iuda a ennillodd Azzah, ai therfyn- m Pen.14
au, ac Ascalon ai therfynau, ac Ecron ai ther- 14
fynau.
19 [n] A'r Arglwydd oedd gyd ag Iuda, ac efe a n Rhuf.8, 31
orescynnodd y mynydd: ond ni [alle efe] ores- Mat. 17,
cyn trigolion y dyffryn, canys cerbydau heirn 19 Ios. 13,6
[oedd] ganddynt. a 7, 11
20 [o] Ac i Caleb y rhoesant Hebron, fel y * llef- a 17, 18 o Num
arase Moses; ac efe a yrrodd oddi yno dri mab 13, 22. a 14, 24
Anac. * Ios. 14, 13
21 [p] Ond meibion Beniamin ni orescynnasant a 5, 15
y Iebusiaid y rhai oeddynt yn preswylio Ieru- a 18, 11 p 2 Sam.5
salem; am hynny y trigodd y Iebusiaid yn 6
Ierusalem hyd y dydd hwn.
22 [q] A hwythau hefyd o dŷ Ioseph a aethant q 2 Bren
i fynu i Bethel: a'r Arglwydd [oedd] gyd a 18, 7
hwynt.
23 [r] A thŷ-lwyth Ioseph a barasant chwilio r Sal.112, 5
Bethel; ac enw y ddinas o'r blaen [oedd] * Luz. Pen 18,2
24 [s] A'r gwilwŷr a welsant ŵr yn dyfod allan Gen. 28, 19
o'r ddinas; ac a ddywedasant wrtho, Dangos i s Ios 2,14 15
ni attolwg y ffordd yr elir i'r ddinas, ac ni a * Gen.28,
wnawn drugaredd â thi. 19
25 Pan ddangosodd efe iddynt hwy y ffordd
i fyned i'r ddinas, yna hwy a darawsant y ddinas
â min y cleddyf; ac a ollyngasom yn rhydd y
gŵr, ai holl deulu.
26 [t] A'r gŵr a aeth i wlad yr Hethiaid; ac a t Gen.15, 20
adailadodd ddinas, ac a alwodd ei henw Luz, a 23, 10
dymma ei henw hi hyd y dydd hwn.
27 Ond * ni orescynnodd Manasses Bethsean, * Ios 17, 11
nai threfydd, na Thaanah nai threfydd, na a 21, 25
thrigolion Dor, nai threfydd, na thrigolion Pen 3, 4
Ibleam nai threfydd; eithr mynnodd y Canaan- Ios.17,12
eaid bresswylio yn y wlad honno.

nPhil. 2, 21 28 [n] Ond pan gryfhaodd Israel, yna efe a
Ex.23,33 osododd y Canaaneaid yn drethawg; eithr gan
Deut. 7, 2 orescyn nis gorescynnodd hwynt.
1Sam.15, 9 29 * Ephraim hefyd ni orescynnodd y Ca-
Ier.48,10 naneaid y rhai oeddynt yn gwladychu Gezer;
* Ios. 16, 10 eithr y Canaaneaid a bresswyliasant yn eu mysc
hwynt yn Gezer.
v Ios. 19, 15 30 [v] Zabulon ni orescynnodd drigolion Citron,
na phresswylwyr Nahalol: eithr y Canaaneaid
a wladychasant yn eu mysc hwynt, ac a fuant
drethawg.
w Ios. 19, 24 31 [w] Aser ni orescynnodd drigolion Acco, na
Gen. 49, 13 thrigolion Sidon; nac Ahalah, nac Aczib, na
Ios. 19,28 Helbah, nac Aphic, na Rehob.
Num. 13, 21 32 [x] Ond Aser a drigodd ym mysc y Canaan-
x Sal. 106, 35 eaid trigolion y wlad; canys ni orescynnodd efe
hwynt.
y Ios. 19, 38 33 [y] Nephthali ni orescynnodd bresswylwŷr
Beth-semes na thrigolion Beth-anath, eithr efe
a wladychodd ym mysc y Canaaneaid trigolion
y wlad: er hynny presswyl-wŷr Beth-semes a
Beth-anath a oeddynt tann dreth iddynt.
34 A'r Amoriaid a ymlidiasant feibion Dan i'r
mynydd; canys ni adawsant iddynt ddyfod i
wared i'r dyffryn.
z Ios. 19, 41 35 [z] A dechreuodd yr Amoriaid bresswylio
Pen.19,12 ym mynydd Heres, yn Aialon, ac yn Saalbim:
1Bren.4, 9 a llaw tŷ Ioseph a orthrechodd, a'r [Amoriaid]
fuant tann dreth [iddynt.]
a Ios. 15, 2, 3 36 [a] A therfyn yr Amoriaid [oedd] o riw Ac-
rabim: [sef] o'r graig, ac uchod.

## PEN. II.

*Angel Duw yn ceryddu Israel am heddychu â'r Canaaneaid. 11 Gau dduwiaeth yr Israeliaid, ai cospedigaeth. 22 Yr achos na orescynnwyd y Canaaneaid ar unwaith.*

b Mal. 3, 1 AC [b] angel yr Arglwydd a ddaeth i fynu o
Ios. 5, 9 Gilgal i Bochim, ac a ddywedodd, Dug-
Gen.24,7 um chwi i fynu o'r Aipht, ac arweiniais chwi i'r
Ex. 6, 8 wlad [am] yr hon y tyngais wrth eich tadau, ac
a ddywedais Ni ddiddymmaf fyng-hyfammod â
chwi byth.
c Ex. 23, 32 2 [c] Na * wnewch chwithau gyfammod â thri-
*Deut.7, 2 golion y wlad hon, [ond] drylliwch eu hallorau;
2Cor.6,14 etto ni wrandawsoch ar fy llef i, pa ham y
Deut. 12, 3 gwnaethoch hyn?
d Ios.7,2 3 [d] Am hynny y dywedais, Ni yrraf hwynt all-
2Cron.15, 2 an o'ch blaen chwi, eithr byddant i chwi * [yn
Num,33, 55 ddrain] yn eich hystlysau, ai duwiau hwy fydd-
Ex.23,33 ant i chwi yn fagl.
Ios.23, 1 1Bren.21 4 [e] A phan lefarodd angel yr Arglwydd y geir-
1,7 eEzra10, iau hyn wrth holl feibion Israel; yna y bobl a
2 Diar. 17, ddercharfasant eu llef, ac a wylasant.
10 fIos.7,26 5 [f] Ac a alwasant enw y lle hwnnw Bochim;
ac yno'r aberthasant i'r Arglwydd.
g Ios. 24, 28 6 [g] Ac Iosuah a ollyngodd y bobl ymmaith; a
meibion Israel a aethant bob un iw etifeddiaeth,
i feddiannu y wlad.

7 A'r bobl a wasanaethasant yr Arglwydd
holl ddyddiau Iosuah, a holl ddyddiau'r hen-
uriaid y rhai a fuant fyw ar ol Iosuah, y rhai a
welsent holl fawr-waith yr Arglwydd yr hwn
a wnaethe efe er Israel.
8 A bu farw Iosuah mab Nun, gwas yr Ar-
glwydd, yn fab cant a dec o flwyddau.
9 A chladdasant ef yn nherfyn ei etifeddiaeth,
o fewn * Thimnath-Heres ym mynedd Ephraim: Ios. 24, 30
o du'r gogledd i fynydd Gaas.
10 [h] A'r holl oes honno hefyd a gasclwyd at eu h Gen. 5
tadau; a chyfododd oes arall ar eu hol hwynt, 8
y rhai nid adwaenent yr Arglwydd, nai weith- 8. 49, 33
redoedd y rhai a wnaethe efe er Israel. Tit. 1, 16 Sal. 95, 5, 6
11 [i] Yna meibion Israel a wnaethant ddryg- i Gen. 8,
ioni yng-olwg yr Arglwydd; ac a wasanaethas- 7
ant Baalim. 2 Bren. 21, 3
12 [j] Ac a wrthodasant Arglwydd Dduw eu j Gen. 5, 2
tadau yr hwn ai dugase hwynt o wlad yr Aipht, Ex. 20, 3
ac a aethant ar ol duwiau dieithr [sef rhai] o
dduwiau y bobloedd y rhai [oeddynt] oi ham-
gylch, ac a ymgrymmasant iddynt; felly y dig-
iasant yr Arglwydd.
13 Canys gwrthodasant yr Arglwydd, a gwas-
anaethasant Baal, ac Astaroth;
14 [k] Yna y llidiodd digllonedd yr Arglwydd k Ex. 4,
yn erbyn Israel, ac efe ai rhoddodd hwynt yn 2 Bren. 17, 20
llaw'r anrheith-wŷr y rhai ai hanrheithiasant Pen. 4, 2
hwynt; ac ai gwerthasant hwy * i law eu gelyn- *Sal. 44, 12
nion o amgylch, fel na allent sefyll mwyach yn Esa. 50, 1
erbyn eu gelynnion.
15 [l] I ba le bynnac yr aethant, llaw'r Argl- l Deut. 28, 15
wydd oedd yn ddrwg yn eu herbyn hwynt, fel 0 Cron. 15
y llefarase'r Arglwydd, ac fel y tyngase'r Argl- Ezra 8, 22
wydd wrthynt hwy; a bu gyfyng iawn arnynt Lef. 26
hwy.
16 [m] Yna yr Arglwydd a gododd farn-wŷr, y m Pen. 3, 9, 10, 15
rhai ai hachubasant hwy o law eu gorthrym-wŷr. 1 Sam. 12, 11 2 Cron. 36, 15
17 [n] Ond ni wrandawsant ychwaith ar eu Hos. 4, 12
barn-wŷr, eithr putteiniasant ar ol duwiau di- Lef. 17, 7
eithr, ac ymgrymmasant iddynt; ciliasant yn
ebrwydd o'r ffordd [yn] yr hon y rhodiase eu
tadau hwynt, gan wrando ar orchymynion yr
Arglwydd; [ond] ni wnaethant hwy felly.
18 [o] A phan gode yr Arglwydd farn-wŷr ar- o Ios. 1, 5
nynt hwy, yna'r Arglwydd fydde gyd a'r barn- Gen. 6, 6 Sal. 106, 44
wŷr, ac ai gwarede hwynt o law eu gelynnion Gen. 6
holl ddyddiau y barn-wŷr hynny; canys yr Ar- Ex. 2, 24
glwydd a dosturie wrth eu griddfan hwynt rhac
eu gorthrym-wŷr ai cystudd-wŷr.
19 A phan fydde * farw y barn-wr, dychwel- *Pen.
ent, ac ymlygrent yn fwy nai tadau, gan fyned 12
ar ol duwiau dieithr, iw gwasanaethu hwynt, ac Ios. 23, 16
i ymgrymmu iddynt; ni pheidiasant ai gweith-
redoedd, nac ai ffordd ddrygionus.
20 Yna digllonedd yr Arglwydd a lidie yn
erbyn Israel; ac efe a ddywede, O blegit i'r gen-

hedlaeth hon drosëddu fyng-hyfammod yr hwn
a orchymynnais i'w tadau hwynt, ac na wrandawsant ar fy llais,
Sal.81, 21 [p] Ni chwanegaf inne yrru ymmaith neb oi
1 Pen. 5, 1 blaen hwynt, o'r cenhedloedd y rhai a adawodd
Iosuah pan fu farw.
Deut. 22 [q] I brofi Israel drwyddynt hwy, a gadwent
3, 3 Gen.22,1 hwy ffyrdd yr Arglwydd gan rodio ynddynt fel
Ios.23,13 y cadwodd eu tadau hwynt, neu beidio.
23 Felly yr Arglwydd a adawodd y cenhedloedd hynny heb eu gorescyn yn ebrwydd: ac
ni roddodd hwynt yn llaw Iosuah.

## PEN. III.

*Y Canaaneaid yn aros yn y wlad i brofi Israel. 9 Othniel yn gwaredu Israel. 21 Ehwd yn lladd Eglon. 31 A Samgar yn lladd y Philistiaid.*

Pen. 2, DYMMA [r] y cenhedloedd y rhai a adawodd
2 Deut.8,2 yr Arglwydd i brofi Israel drwyddynt (sef
y rhai oll ni wyddent gwbl o ryfeloedd Canaan.
Sal. 81, 2 [s] Yn unic i beri i genhedlaethau meibion
Ja 14,13 Ios.23,10 Israel wybod, ac i'w dyscu hwynt i ryfel: y rhai
yn ddiau ni wyddent hynny o'r blaen)
Pen.10, 3 [t] Pump tywysog y Philistiaid, a'r holl Ga-
1Sam. naaneaid, a'r Sidoniaid, a'r Hefiaid (y rhai
1, 2 Deut.1,7 oedd yn aros ym mynydd Libanus: o fynydd
3, 9 Baal-hermon hyd y ffordd y deuir i Hamath)
Deut. 4 [u] A'r [rhai hyn] a fuant i brofi Israel drwy-
2 Ioan 2,24 ddynt, i wybod a wrandawent hwy ar orchymynnion yr Arglwydd y rhai a orchymynnase efe
i'w tadau hwynt trwy law Moses.
5 A meibion Israel a drigasant ym mysc y
Canaaneaid, yr Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r Phereziaid, yr Hefiaid hefyd a'r Iebusiaid.
Ex.34, 6 [v] Ac a gymmerasant eu merched hwynt idd-
Deut.7,2 ynt yn wragedd, rhoddasant hefyd eu merched
Bren. 2, 3 i'w meibion hwynt: a gwasanaethasant eu duwiau hwynt.
7 Felly meibion Israel a wnaethant ddrygioni
yng-olwg yr Arglwydd, anghofiasant hefyd yr
Arglwydd eu Duw: a gwasanaethasant Baalim,
ac Aseroth.
Deut. 8 [w] Am hynny digllonedd yr Arglwydd a
16 Pen 2,14 lidiodd yn erbyn Israel, ac efe a'i gwerthodd
at. 10, hwynt i law Chusan Risathaim brenin Mesopo-
In. 14 n. 4, 3 tamia: a meibion Israel a wasanaethasant Chu-
f. 26, san Risathaim wyth mlhynedd.
1.78,34 9 A meibion Israel a waeddasant ar yr Ar-
Tim. 4, glwydd, a'r Arglwydd a gododd achub-wr i
n.1,13 feibion Israel, ac efe a'i hachubodd hwynt: sef
Othniel mab Cenaz, brawd Caleb, ieuangach
nac ef.
10 Ac yspryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef,
ac efe a farnodd Israel, ac a aeth allan i ryfel, a'r
Arglwydd a roddodd yn ei law ef Chusan Risathaim brenin Syria: a'i law ef oedd drêch na
Chusan Risathaim.
Ios. 11, 11 [x] Felly y cafodd y wlad lonydd ddeugain
3 Est. 9, 22 mlhynedd: a bu farw Othniel mab Cenaz.

12 [y] Yna meibion Israel a chwanegasant wneu- y Sal.78,
thur yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd: 32 Hos.6,4
a'r Arglwydd a nerthodd Eglon brenin Moab yn Ioan 19,
erbyn Israel, am iddynt wneuthur drygioni yng- 11 Sal.140,8
olwg yr Arglwydd.
13 [z] Ac efe a gasclodd atto feibion Ammon, ac z Sal 83,7
Amalec: ac a aeth, ac a darawodd Israel, ac a Deut.34,
orescynnasant ddinas y palm-wŷdd. 3
14 [a] Felly meibion Israel a wasanaethasant a Deut.
Eglon, brenin Moab, ddau naw mlhynedd. 28, 47
15 Yna meibion Israel a lefasant ar yr Ar- Sal.50,15
glwydd, a'r Arglwydd a gododd achub-wr iddynt, sef Ehwd, mab Cera, fab Iemini, gwr anafus o'i law ddehau: a meibion Israel a anfonasant
anrheg gyd ag ef i Eglon, brenin Moab.
16 [b] Ac Ehwd a wnaeth iddo gleddyf dau b Sal.149,
finiawc o gufydd ei hŷd, ac a'i gwregysodd ef 6
tann ei ddillad, ar ei glûn ddehau.
17 Ac efe a ddug yr anrheg i Eglon, brenin
Moab: ac Eglon [oedd] ŵr tew iawn.
18 A phan ddarfu iddo ef gyflwyno yr anrheg,
yna efe a ollyngodd ymmaith y bobl y rhai a
ddugasent yr anrheg.
19 [c] Ac efe a drodd oddi wrth y delwau cerf- c Ios.4,20
iedic y rhai [oeddynt] yn Gilgal, ac a ddywedodd [Y mae] i mi air o gyfrinach â thi, O frenin:
dywedodd yntef, Gosteg: yna yr holl rai a'r a
oeddynt yn sefyll yn ei ymyl ef a aethant allan
oddi wrtho ef.
20 [d] Yna Ehwd a ddaeth i mewn atto ef, ac d Gen.1,1
yntef oedd yn eistedd mewn stafell hâf, yr hon 1 Cor.8,4
[oedd] iddo ef ei hunan: a dywedodd Ehwd, 1 Thes. 2, 13
Gair Duw [sydd] gennif attat ti: yna efe a gyfododd oddi ar ei orseddfa.
21 [e] Ac Ehwd a estynnodd ei law asswy, ac a e 1 Sam.
gymmerth y cleddyf oddi ar ei glûn ddehau, ac 15, 33 Num.25,
a'i brathodd ef yn ei botten. 7, 8
22 A'r carn a aeth i mewn ar ol y llafn, a'r Zec. 2, 7
brasder a ymgaeodd am y llafn fel na ddeue'r
cleddyf allan o'i botten ef: onid y dom a aeth allan.
23 Yna Ehwd a aeth allan i'r cyntedd, ac a
gaeuodd ddrysau yr stafell arno, ac a'i cloiodd.
24 [f] Pan aeth efe ymmaith, yna ei weision a f 1 Sam.
ddaethant, ac a edrychasant, ac wele ddrysau yr 24, 4
stafell yn gloiedic: am hynny y dywedasant,
Diau esmwythau ei gorph y mae efe yn yr ystafell hâf.
25 A hwynt a ddisgwiliasant nes cywilyddio
[o honynt], ac wele nid oedd efe yn agori drysau
yr stafell: yna hwynt a gymmerasant agoriad,
ac a agorasant, ac wele eu harglwydd hwy wedi
cwympo i lawr yn farw.
26 Felly Ehwd a ddiangodd tra fuant hwy yn
aros, ac efe a aeth heibio i'r fau y cerfeid y
delwau, ac a ddiangodd i Seirah. g Pen.6,
27 [g] A phan ddaeth efe i mewn, yna efe a ud- 34 Ios. 15, 9
canodd mewn udcorn ym mynydd Ephraim: a 2Bren. 5, 22

meibion Israel a ddescynnasant gyd ag ef o'r
mynydd, ac yntef oi blaen hwynt.
h 1 Sam. 28 [h] Yna y dywedodd wrthynt, Canlynwch fi,
17, 47 Sal.115,1 canys yr Arglwydd a roddodd eich gelynion
chwi, sef Moab, yn eich llaw chwi: a hwy a
aethant i wared ar ei ol ef, ac a ennillasant
i Ios. 2, 8 rŷdau yr [i] Iorddonen tuag at Moab, ac ni adaw-
sant neb i fyned trwodd.
j Sal 17,10 29 [j] A hwy a darawsant o'r Moabiaid y pryd
hynny yng-hylch deng-mil o wŷr, pawb yn rym-
us, a phawb yn wŷr nerthol: ac ni ddiangodd neb.
30 Felly y darostyngwyd Moab y dwthwn
hwnnw tann law Israel: a'r wlad a gafodd lon-
ydd bedwar ugain mlhynedd:
k Pen.15, 31 [k] Ac ar ei ol ef y bu Samgar mab Anath,
15. a 2,16 1 Cor1,27 ac efe a darawodd o'r Philistiaid chwe chan-wr
â gwialen ychen: yntef hefyd a waredodd Israel.

## PEN. IV.

1 *Debora a Barac yn rhyfela yn erbyn Sisara.* 17 *Ac Iael gwraig Heber yn ei ladd ef.*

l Pen.3,12 Ier. 5, 3 YNA [l] meibion Israel a chwanegasant wneu-
thur drygioni yng-olwg yr Arglwydd,
wedi marw Ehwd.
m Pen.2, 14 2 [m] A'r Arglwydd ai gwerthodd hwynt i law
Ios.11,1, 10 Iabin, brenin Canaan, yr hwn oedd yn teyrnasu
Ier.49,28 yn Hasor: a thywysog ei lû ef [oedd] Sisara, ac
Ios11,5,7 efe oedd yn trigo yn Haroseth y cenhedloedd.
n Pen 3,9 3 [n] Yna meibion Israel a lefasant ar yr Ar-
glwydd: canys naw cant cerbyd haiarn [oedd]
ganddo ef, ac efe a orthrymmodd feibion Israel
yn dost ugain mlhynedd.
o Gen.38, 5 4 [o] A Debora, rhyw brophwydes, gwraig Lapi-
doth: hi oedd yn barnu Israel yr amser hwnnw.
5 A hi oedd yn trigo tann balm-wydden Debo-
ra, rhwng Rama a Bethel, ym mynydd Ephraim:
meibion Israel a ddeuent i fynu atti hi am farn.
p Ios. 19, 32 6 [p] Yna hi anfonodd ac a alwodd am Barac
Gen.13,9 fab Abinoam o Cedes Nephthali, ac a ddywed-
Pen.5,14 Sal.86,12 odd wrtho, Oni orchymynnodd Arglwydd Dduw
Israel [gan ddywedyd?] Dos, a thynn tua myn-
ydd Thabor, a chymmer gyd â thi ddeng-mil o
wŷr, o feibion Nephthali ac o feibion Zabulon.
q Ex. 14, 4 7 [q] A mi dynnaf attat Sisara tywysog llu Iabin,
Mat.6,13 ai gerbydau, ai luosogrwydd ef, * wrth afon
*Sal.83,9 Cison, ac a'i rhoddaf ef yn dy law di.
1 Bren. 18, 40 8 [r] A Barac a ddywedodd wrthi, Od ei di gyd
r Ex. 4,10 a mi, minne a âf: ac onid ei gyd a mi, nid âf.
s Pen. 2, 14 9 [s] Yna hi a ddywedodd, Gan fyned yr âf gyd
a thi, etto ni bydd gogoniant i ti yn y daith i'r
hon yr ydwyt yn myned, canys yn llaw gwraig
y dyru yr Arglwydd Sisara: a Debora a gyf-
t Ex 11,8 ododd ac a aeth gyd a Barac i Cedes.
u Num. 21, 21, 22 10 [t] A Barac a gynnullodd Zabulon a Neph-
Pen. 1,16 *Num.10 thali i Cedes, ac a aeth i fynu ar ei draed â
29 Ex. 2, 18 deng-mil o wŷr: a Debora a aeth i fynu gyd ag ef.
a 3, 1 11 [u] A Heber y Cenead (o feibion * Hobab,
a 18, 1 chwegrwn Moses) a ymnailltuodd oddi wrth y
Ceneaid, ac a ledodd ei babell hyd wastadedd
Zaanaim, yr hwn [sydd] yn Cedes.
12 A mynegasant i Sisara, ddyfod o Barac
mab Abinoam i fynu i fynydd Thabor.
13 A Sisara a gynhullodd ei holl gerbydau
[sef] naw cant cerbyd haiarn, a'r holl bobl y
rhai [oeddynt] gyd ag ef: o Haroseth y cen-
hedloedd hyd afon Cison.
14 [v] Yna Debora a ddywedodd wrth Barac, v Pen.5,
Cyfod, canys hwn [yw] 'r dydd [yn] yr hwn y 19 2 Sam. 5,
rhoddodd yr Arglwydd Sisara yn dy law di, 24
onid aeth yr Arglwydd allan o'th flaen di? felly
Barac a ddescynnodd o fynydd Thabor, a deng
mil o wŷr ar ei ol.
15 [w] A'r Arglwydd a ddrylliodd Sisara, ai holl w Pen.5,
gerbydau, ai holl fyddin ef drwy fin y cleddyf 20 Sal.83,
o flaen Barac: a Sisara a ddescynnodd oddi ar 10
ei gerbyd, ac a ffôdd ar ei draed.
16 Felly [x] Barac * a erlidiodd ar ol y cerbydau, x
ac ar ol y fyddin hyd Haroseth y cenhedloedd: 12 Sal.
a holl lu Sisara a syrthiodd ar y cleddyf, ni 35 * Sal
adawyd un o honynt. 10
17 Ond Sisara a ffôdd ar ei draed, i babell Iael
gwraig Heber y Cenead; canys [yr oedd] heddwch
rhwng Iabin brenin Hazor a thŷ Heber y Cenead.
18 Ac Iael a aeth i gyfarfod a Sisara, ac a
ddywedodd wrtho, Tro fy arglwydd, tro attafi:
yna efe a drôdd atti i'r babell, a hi a'i gorch-
guddiodd ef mewn gwrthban.
19 Ac efe a ddywedodd wrthi, * Dioda fi atto- * Pen.5,
lwg âg ychydig o ddwfr, canys sychedig wyf: 25
yna hi agorodd gynnoc y llaeth, ac a'i diododd
ef, ac a'i gorchguddiodd ef.
20 [y] Dywedodd hefyd wrthi, Saf [wrth] ddrws y Prog.
y babell: ac os daw neb i mewn, a gofyn i ti, a 3, 7
dywedyd, A oes ymma neb? yna dywet tithe,
Nac [oes].
21 [z] Yna Iael gwraig Heber a gymmerth hoel z Pen.5,
o'r babell, ac a gymmerodd forthwyl yn ei llaw, 25 1 Sam.
ac a ddaeth i mewn atto ef yn ddistaw, ac a 49
bwyodd yr hoel yn ei arlais ef, ac a'i gwthiodd 1 Cor.
i'r ddaiar: (canys efe oedd yn cyscu, ac yn lludd- 27
edic) ac [felly] y bu efe farw.
22 Ac wele Barac yn erlid Sisara, ac Iael aeth
i'w gyfarfod ef, ac a ddywedodd wrtho, Tyret,
a dangosaf i ti y gwr yr hwn yr ydwyt ti yn ei
geisio: ac efe a ddaeth i mewn atti, ac wele Sisara a Sal.
yn gorwedd yn farw, a'r hoel yn ei arlais ef. 39. 47 Neh.
23 [a] Felly y darostyngodd Duw y dwthwn hw- b Deu.
nw Iabin brenin Canaan, o flaen meibion Israel. 28. 50 2 Tim.
24 [b] A llaw meibion Israel a lwyddodd, ac a 13 Sal.
orchfygodd Iabin brenin Canaan, nes iddynt Zec. 1 Sam.
ddestruwio Iabin brenin Canaan. 28

## PEN. V.

*Cân Debora o ddiolch i Dduw am yr oruchafiaeth yn erbyn Sisara.*

YNA [c] y canodd Debora, a Barac mab Abi- c Ex 15,
noam y diwrnod hwnnw, gan ddywedyd, Deu. 1, 4

Sal 95,1 110 3,9 2 [d] Am ddial dialeddau ar Israel, [ac] am ym-
en.4,10 gymmell o'r bobl: bendithiwch yr Arglwydd.
Sal 2,10 3 [e] Clywch O frenhinoedd, gwrandewch O dy-
reg 5,8 wysogion: myfi, myfi a ganaf i'r Arglwydd,
canmolaf Arglwydd Dduw Israel.
Num. 4 [f] Oh Arglwydd pan aethost allan * o Seir,
21 at.6,15 pan gerddaist o faes Edom, y ddaiar a grynnodd,
1.18,8 y nefoedd hefyd a ddiferasant: a'r cwmylau a
ddefnynnasant ddwfr.
5 Y * mynyddoedd a doddasant o flaen yr Ar-
glwydd: megis Sinai hwnnw o flaen Arglwydd
Dduw Israel.
Pen.3, 6 [g] Yn nyddiau * Samgar mab Anath, yn nydd-
f.26, iau Iael y llwybrau a beidiasant: a'r fforddolion
a gerddasant lwybrau ceimion.
at.9,19 7 [h] Trefi a darfuant yn Israel: darfuant nes i
n 4,4,6 mi Debora gyfodi, nes i mi gyfodi yn fam yn
Israel,
8 [i] [Israel] a ddewisodd dduwiau newyddion,
ut 32, yna rhyfel [oedd] yn y pyrth: a welpwyd tarian,
19 na gwaiw-ffon ym mysc deugain mil yn Israel?
26. 9 [j] Fyng-halon [sydd] tu ag at ddeddf-wŷr
Israel, [a thu ag at] y rhai ewyllysgar ym mhlith
4,10 y bobl: bendithiwch yr Arglwydd.
145, 10 [k] Y rhai sy yn marchogaeth ar assynnod
1.10,4 gwynnion, y rhai sy yn aros ym Midin, a'r rhai
107, sy yn rhodio ar hyd y ffordd, lleferwch.
lar.5, 11 [l] Canys trwst y saethyddion ym mysc y
rhai a dynnent ddwfr [a beidiodd,] yno'r adrodd-
ant gyfiawnderau'r Arglwydd, cyfiawnderau
[tu ag at] y trefydd yn Israel: yna pobl yr Ar-
glwydd a aethant i wared i'r porth.
al.57, 12 [m] Deffro, deffro Debora, deffro, deffro
68,18 traetha gân: cyfod Barac, a chaethgluda dy
gaethglud O fab Abinoam.
at.2, 13 [n] Yna'r hwn a adewir a lywodraetha ar ben-
49,14 defigion y bobl: yr Arglwydd a rydd lywod-
raeth ar gedyrn i mi.
en.4, 14 [o] O Ephraim [yr oedd] eu gwreiddin hwynt
yn erbyn Amalec, ar dy ol di [yr oedd] Beniamin
ym mysc dy bobl: y deddf-wŷr a ddaethant i
wared o Machir, a scrifenyddion o Zabulon.
en.4, 15 [p] A thywysogion Issachar [oeddynt] gyd a
Debora, ïe Issachar, a Barac, a anfonwyd ar
ei draed i'r dyffryn: am ddosparthiadau Ruben
Cor. [yr oedd] [q] mawr ofal calon.
r.22, 16 [r] Pa ham yr arhosaist rhwng y corlannau
i wrando brefiadau y defaid? am ddosparthiad-
au Ruben yr oedd mawr ofal calon.
17 Gilead a drigodd o'r tu hwnt i'r Iorddonen,
a pha ham yr erys Dan mewn llongau? Aser a
t.12, drigodd wrth borthladd y môr, ac a arhosodd
4,16 ar ei adwyau.
20, 18 [s] Pobl Zabulon a roddes eu henioes i farw,
en 3, felly [y gwnaeth] Nephthali ar uchel-fannau y
146,4 maes
17, 19 [t] Brenhinoedd a ddaethant, [ac] a ymladd-
asant, yna brenhinoedd Canaan a ymladdasant
yn Thaanac wrth ddyfroedd Megido: [ond] ni
ddygasant [gymmaint a] dernyn o arian.
20 [u] O'r nefoedd yr ymladdasant: y sêr oi u Sal.77,
graddau a ymladdasant yn erbyn Sisara.
21 Afon Cison ai scubodd hwynt, yr hên afon
[sef] afon Cison: fy enaid, ti a gerddaist yn lew.
22 [v] Yna y drylliodd carnau y meirch gan v Sal.33,
aml garlammau ei gryfion ef. 17
23 [w] Melldigwch Meroz medd angel yr Ar- w 1 Sam.
glwydd, gan felldigo melldigwch ei thrigolion: 17,47 Act.9,4
am na ddaethant yn gynnorthwy i'r Arglwydd, Dat 17,14
yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y ced-
yrn.
24 [x] Bendithier Iael gwraig Heber y Cenead x Luc 1,
goruwch gwragedd [eraill:] bendithier [hi] gor- 28 Diar.31,
uwch gwragedd [yn preswylio] mewn pebyll. 31
25 Dwfr a geisiodd efe, llaeth a roddes hi-
the: mewn phiol ardderchog y dûg hi ymenyn.
26 [y] Ei llaw [asswy] at yr hoel, a'i llaw dde- y 1 Thes.
hau at forthwyl y gweithwŷr a ymestynnasant: 2,16
a hi a ddrylliodd Sisara, ac a dorrodd ei ben ef,
archollodd hefyd, a thrywanodd ei arlais ef.
27 [z] Wrth ei thraed yr ymgrymmodd efe, syr- z Sal.52,7
thiodd a gorweddodd: wrth ei thraed yr ym-
grymmodd efe, syrthiodd lle'r ymgrymmodd,
yno y syrthiodd yn anrhaithedic
28 Mam Sisara a edrychodd drwy'r ffenestr,
ac a waeddodd drwy'r dellt, Pa ham yr oeda
ei gerbyd heb ddyfod? pa ham yr arafodd ol-
wynion ei gerbyd?
29 Ei hargl wyddesau doethion a'i hattebas-
ant, hithe hefyd a adroddodd ei geiriau wrthi ei
hun.
30 Oni chawsant hwy, [ac oni] rannasant yr
anrhaith? llangces [neu] ddwy i bob gŵr, an-
rhaith o [wiscoedd] symmud-liw [sydd] eiddo
Sisera, [ïe] anrhaith o wniadwaith symmudliw:
symmudliw o wniadwaith o'r ddautu, i rannwr
pennaf yr anrhaith.
31 [a] Felly y darfyddo am dy holl elynion di
O Arglwydd, a'r rhai a'th hoffant di [fyddant] a Sal.83,
fel yr haul yn myned yn ei rym: a'r wlad a gaf- 9,10 Eph.6,24
odd lonydd ddeugain mlhynedd. Sal.37,6

## PEN. VI.

1 *Y Madianiaid am bechodyr Israeliaid yn cael eu gorthrymmu hwynt, hyd oni waredodd Gedeon hwynt.*

YNA [b] meibion Israel a wnaethant yr hyn b Gen.25,
oedd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd: am 2. Num. 25,18
hynny'r Arglwydd ai rhoddodd hwynt yn llaw
Madian saith mlynedd.
2 [c] A llaw Madian a orthrechodd Israel: ac c 1 Sam.
rhac ofn y Madianiaid, meibion Israel a wnae- 13,6 Heb.11,
thant iddynt y llochesau y rhai [ydynt] yn y 38
mynyddoedd, a'r ogfeudd a'r amddeffynfaoedd.
3 [d] Pan hauase Israel, yna Madian a aeth i d Gen 55,
fynu, ac Amalec, a meibion y dwyrain a aeth- 12 Iob 1,3

ant hefyd i fynu yn eu herbyn hwynt.
e Deut. 28, 30 4 [e] Ac a wersyllasant yn eu herbyn hwynt
Gen. 10, 19 ac a ddinistriasant gnwd y ddaiar hyd oni ddel-
ech i Azza: ac ni adawsant ddim ymborth yn
Israel, na dafad, nac eidion, nac assyn.
f Sal.83,4 Pen.8,10 5 [f] Canys hwynt, ai hanifeiliaid a aethant i
fynu ai pebyll, daethant fel locustiaid o amldra,
g Pen. 7, 12 ac nid [oedd] [g] rifedi arnynt hwy, nac ar eu ca-
melod: felly y daethant i'r wlad i'w destruwio hi.
h Hos. 5, 15 6 [h] Ac Israel a aeth yn dlawd iawn o achos y
Madianiaid: a meibion Israel a lefasant ar yr
Sal.78,34 Arglwydd.
7 A phan lefodd meibion Israel ar yr Ar-
glwydd o blegit y Madianiaid:
i Pen.4,4 8 [i] Yna'r Arglwydd a anfonodd brophwydwr
at feibion Israel, ac a ddywedodd wrthynt: Fel
hyn y dywedodd Arglwydd Dduw Israel, Myfi
a'ch dugum chwi i fynu o'r Aipht, ac a'ch ar-
weiniais chwi o dŷ y caethiwed.
j Sal44,23 9 [j] Mi hefyd a'ch gwaredais chwi o law'r
Aiphtiaid, ac o law eich holl orthrym-wŷr: gyr-
rais hwynt allan hefyd o'ch blaen chwi, a rho-
ddais eu tir hwynt i chwi:
10 A dywedais wrthych: Myfi [ydwyf] yr Ar-
*Ier.10,2 glwydd eich Duw chwi * nac ofnwch dduwiau
2 Bren. 17, 38 yr Amoriaid y rhai'r ydych yn trigo yn eu gwlâd:
ond ni wrandawsoch ar fy llais i.
k Adn. 14 16 11 [k] Yna angel yr Arglwydd a ddaeth, ac a
Pen.5,32 Ios. 17,2 eisteddodd tann y dderwen yr hon [sydd] yn
Ephrah, yr hon [oedd] eiddo Ioas tâd yr Esraid:
a Gedeon ei fab ef oedd yn dyrnu gwenith
mewn gwin-wryf, i ffoi rhac y Madianiaid.
l Luc 1,28 Dan.9,23 12 [l] Ac angel yr Arglwydd a ymddangosodd
Rhuf. 3, 31 iddo ef, ac a ddywedodd wrtho: Yr Arglwydd
[sydd] gyd a thi [ŵr] cadarn nerthol.
m Gen. 48, 20 13 [m] A Gedeon a ddywedodd wrtho, [Gwran-
Esa.63,14 do] arnaf fy arglwydd, od yw'r Arglwydd gyd
a 59, 1 a ni, Pa ham y digwyddodd hyn oll i ni? a pha
Sal. 25,6 le [y mae] ei holl ryfeddodau ef y rhai a fynegodd
ein tadau i ni gan ddywedyd, Ond yr Arglwydd
a'n dug ni i fynu o'r Aipht? canys yn awr yr
Arglwydd a'n gwrthododd ni, ac a'n rhoddodd
i law y Madianiaid.
n Ioan 20, 22 14 [n] Yna'r Arglwydd a edrychodd arno ef, ac
Ios. 1, 9 a ddywedodd, Dos yn dy rymmusdra ymma, a
Pen. 4, 6 gwaret Israel o law y Madianiaid: oni anfonais
i dy di?
o Luc 1, 34 15 [o] Dywedodd yntef wrtho ef, Attolwg fy Ar-
Heb. 11, 32 glwydd pa fodd y gwaredaf fi Israel? wele fy
Ex 18,25 nhâd yn dylotaf ym Manasses, a minne'n lleiaf
Mic. 5, 2 1Cor. 15, 9 yn nhŷ fy nhâd.
Ier.50,45 16 [p] Yna y dywedodd yr Arglwydd wrtho ef,
p Ios. 1, 5 Diau y byddafi gyd a thi: a thi a darewi y Ma-
Ex. 3, 12 dianiaid fel un gŵr.
17 [q] Ac efe a ddywedodd wrtho, Attolwg o
chefais ffafor yn dy olwg: gwna erofi arwydd
[fel y gwypwyf] mai ti sydd yn llefaru wrthif.
18 [r] Na chilia attolwg oddi ymma hyd oni
ddelwyf attat, ac oni ddygwyf fy offrwm, ac oni
osodwyf ef ger dy fron: dywedodd yntef, Myfi a
arhosaf nes it ddychwelyd.
19 Yna Gedeon a ddaeth, ac a baratodd fynn
gafr, ac epha o beillied yn fara croiw, y cig a
osododd efe mewn basced, a'r iscell a osododd
efe mewn crochan: ac ai dug atto ef tann y
dderwen, ac ai cyflwynodd.
20 [s] Ac angel Duw a ddywedodd wrtho, Cym-
mer y cig a'r bara croiw, a gosot ar y graig hon,
a thywallt yr iscell: ac efe a wnaeth felly.
21 [t] Yna angel yr Arglwydd a estynnodd
flaen y ffon yr hon [oedd] yn ei law ef, ac a
gyffyrddodd a'r cig, ac a'r bara croiw, a'r tân a
dderchafodd o'r graig, ac a yssodd y cig, a'r
bara croiw: ac angel yr Arglwydd a aeth ym-
maith o'i olwg ef.
22 Pan welodd Gedeon mai angel yr Ar-
glwydd [oedd] efe: yna y dywedodd Gedeon,
Oh Arglwydd Dduw, diau o herwydd * i'm
weled angel yr Arglwydd wyneb yn wyneb [y
byddaf marw.]
23 [u] A dywedodd yr Arglwydd wrtho, Tang-
neddyf it, nac ofna, ni byddi farw.
24 Yna Gedeon a adeiladodd yno allor i'r
Arglwydd, ac a'i galwodd Iehofa Salom: hyd y
dydd hwn [y mae] hi yn Ephrah tref-tad yr Es-
riaid.
25 [v] A'r noson honno y dywedodd yr Ar-
glwydd wrtho ef, Cymmer y bustach yr hwn
[sydd] eiddo dy dad, a bustach arall saith
mlwydd oed: a destruwia allor Baal yr hon
[sydd] eiddo dy dad, a thorr y llwyn yr hwn
[sydd] yn ei hymyl hi.
26 Ac adailada di allor i'r Arglwydd dy
Dduw ar ben y graig hon yn drefnus, a chym-
mer yr ail bustach, ac offrymma boeth offrwm
ar goed y llwyn yr hwn a dorri di.
27 [w] Yna Gedeon a gymmerodd ddeng-wr o
weision, ac a wnaeth fel y llefarase'r Arglwydd
wrtho ef: ac o herwydd ei fod yn ofni tŷ ei dâd,
a gwŷr y ddinas os gwnae efe [hynn] liw dydd,
am hynny efe ai gwnaeth liw nos.
28 Pan gyfododd gwŷr y ddinas y borau, yna
wele allor Baal wedi ei dryllio, a'r llwyn yr
hwn [oedd] yn ei hymyl wedi ei dorri: a'r ail
bustach wedi ei boeth offrymmu ar yr allor yr
hon a adeiladasid.
29 A dywedodd pawb wrth ei gilydd, Pwy a
wnaeth y peth hyn? pan geisiasant a [phan]
chwiliasant, yna y dywedasant, Gedeon mab
Ioas a wnaeth y peth hyn.

q 2 Bren. 20, 8 Ex. 4, 6 Sal.68,17

PEN. VI adn. 25.] "Saith mlwydd oed;" i arwyddo fod saith mlynedd Madian, adn. 1, yn mron terfynu, a blwyddyn gollyngdod Israel yn [illegible] dod i ben. Adn. 26. "Allor i'r Arglwydd [illegible] a [illegible] Duw a wnaeth Gedeon yn ben; onu addoli Baal a wnaeth Ioas yn gyntaf.

x Ioan 30 [x] Yna gwŷr y ddinas a ddywedasant wrth
16, 2 Ioas, Dŵg dy fab fel y byddo efe marw: canys
efe a ddrylliodd allor Baal, ac a dorrodd y
llwyn yr hwn [oedd] yn ei hymyl hi.
Ex.32,2 31 [y] Ac Ioas a ddywedodd wrth y rhai oll a
Num 14, oeddynt yn sefyll yn ei ymyl, Ai chwi a ddad-
Adn 30 leuwch dros Baal? ai chwi ai ceidw ef? yr hwn
Diar 10,9 a ddadleuo drosto ef, bydded farw y bore hwn:
os Duw [yw] efe dadleued drosto ei hun, am
ddryllio ei allor.
32 Efe ai galwodd ef y dwthwn hwnnw Ie-
rubbaal gan ddywedyd, Ymddadleued Baal
drosto ei hun am ddryllio ei allor.
Pen. 7, 33 [z] Yna y Madianiaid oll, a'r Amaleciaid, a
19.18 meibion y dwyrain a gasclwyd yng-hyd: ac a
15, 56 aethant, ac a werssyllasant yn nyffryn Iezrael.
1 Cron. 34 [a] Ond yspryd yr Arglwydd a wiscodd am
18 Gedeon: ac efe a [*] udcanodd mewn udcorn, ac
24,49 Abiazar a aeth ar ei ol ef.
uf. 13, 35 Ac efe a anfonodd gennadau drwy holl
1. 3,27 Manasses yr hwn pan alwyd ef ai canlynodd
ec. 16, ef: anfonodd hefyd gennadau i Aser, ac i Zabu-
n 3,27 lon, ac i Nephthali, ac aethant i fynu i'w cyfar-
um. 3 fod hwynt.
1,103, 36 [b] Yna Gedeon a ddywedodd wrth Dduw:
14 O gwaredi di Israel drwy fy llaw i megis y llef-
16,1 eraist,
14, 37 [c] Wele fi yn gosod cnû o wlân yn y llawr
t.32, dyrnu: os gwlith fydd ar y cnû yn unic, a sych-
Mat. 6 der ar yr holl ddaiar, yna y caf wybod y gwa-
24 147, redi di Israel drwy fy llaw i, fel y lleferaist.
38 Ac felly y bu, canys cyfododd yn forau,
ac a swppynodd y cnû, ac a wascodd wlith o'r
cnû loned phiol o ddwfr.
39 A Gedeon a ddywedodd wrth Dduw, Na
18, lidied dy ddigllonedd i'm herbyn, [*] a mi a lef-
t. 8, araf un waith etto: [d] profaf yn awr y waith hon
11, yn unic drwy'r cnû: bydded attolwg sychder ar y
2,21 cnû yn unic, ac ar yr holl ddaiar bydded gwlith.
40 A Duw a wnaeth felly y nosson honno:
canys yr oedd sychder ar y cnû yn unic, ac ar
yr holl ddaiar yr oedd gwlith.

## PEN. VII.

*1 Yr Arglwydd yn peri i Gedeon yrru ymmaith y rhan fwyaf oi lu. 19 Y modd y rhyfelodd ac y gorchfygodd Gedeon. 25 Lladdiad Oreb a Zeeb.*

YNA [*] Ierubbaal [*] (hwnnw [yw] Gedeon) a
gyfododd yn foreu, a'r holl bobl y rhai
[oeddynt] gyd ag ef, ac a werssyllasant wrth
ffynnon Harod: a gwerssyll y Madianiaid oedd
iddynt o du'r gogledd wrth fryn Moreb yn y
dyffryn.
2 [f] A dywedodd yr Arglwydd wrth Gedeon,
Rhy luosog yw'r bobl y rhai [ydynt] gyd a thi i
mi roddi y Madianiaid iw llaw hwynt: rhac i
Israel ymogoneddu i'm herbyn gan ddywedyd,
Fy llaw fy hun a'm gwaredodd.

3 Am hynny yn awr, cyhoedda lle y clywo'r * Deut.
bobl gan ddywedyd, [*] Yr hwn sydd ofnus, ac 20, 8
arswydus dychweled, ac ymadawed y boreu o Mat. 13,
fynydd Gilead: yna y dychwelodd o'r bobl 21 Dat. 17,
ddwy fil ar hugain, a deng-mil a arhosasant. 14 Sal. 11, 4
4 [g] A dywedodd yr Arglwydd wrth Gedeon, g Mal. 3,
Etto y mae gormod o bobl, dŵg hwynt i wared 2, 3.
at y dyfroedd, a mi ai profaf hwynt yno i ti: ac 1 Sam.
am yr hwn y dywedwyf wrthit, Hwn a aiff gyd a 16, 6, 7
thi, eled hwnnw gyd a thi, ac am y rhai oll y
dywedwyf wrthit, Hwn nid aiff gyd a thi, nac
eled hwnnw gyd a thi.
5 [h] Felly efe a ddygodd y bobl i wared at y h Esa. 13,
dyfroedd, a dywedodd yr Arglwydd wrth Ge- 3
deon, Pwy bynnac a leppio â'i dafod o'r dwfr fel Pen. 18, 9
y lleppio cî, gosot ef ar naill-tu, felly pwy byn-
nac a ymgrymmo ar ei liniau i yfed.
6 A rhifedi y rhai a godasant [y dwfr] ai llaw
at eu genau oedd dry chan-nwr: a'r holl bobl er-
aill a ymgrymmasant ar eu gliniau i yfed dwfr.
7 [i] Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Ge- i 1 Sam.
deon, drwy'r trychan-wr y rhai a leppiasant [y 13, 6
dwfr] y gwaredaf chwi, ac y rhoddaf y Madian-
iaid yn dy law di: am hynny eled yr holl bobl
[eraill] ymmaith bob un iw fangre ei hun.
8 [j] Felly y bobl a gymmerasant fwyd yn eu j Adn. 16
[dwylo] ai hudcyrn, a [Gedeon] a ollyngodd Lef. 23,
ymmaith holl wŷr Israel pob un i'w babell, a 24
thry chan-nwr a ddaliodd efe: a gwersyll y Mad-
ianiaid oedd oddi tanodd iddo mewn dyffryn.
9 [k] A'r nosson honno y dywedodd yr Arglwydd k Heb. 13,
wrtho ef, Cyfot dos i wared i'r gwerssyll, canys 5
mi ai rhoddais ef yn dy law di. Esa. 43, 2
10 Ac od wyt yn ofni myned i wared, dos di a Gen. 46, 2
Phurah dy langc i wared i'r gwerssyll: 3
11 [l] A gwrando beth a ddywedant, fel yr ym- l Adn. 13
nertho wedi hynny dy ddwylo, ac yr elech i Gen. 24,
wared i'r gwerssyll: yna efe a aeth i wared a 14
Phurah ei langc i gwrr y rhai arfogion y rhai Act. 25,
[oeddynt] yn y gwerssyll. 15 Ex. 13, 18
12 A'r Madianiaid, a'r Amaleciaid, a holl [*] * Pen 6,
feibion y dwyrain oeddynt yn gorwedd yn y 33
dyffryn fel y locustiaid o amldra: ai camelod Esa. 48,
[oedd] heb rif fel y tyfod yr hwn [sydd] ar fin y 19 a 8, 9
môr o amldra.
13 [m] Pan ddaeth Gedeon, yna wele ŵr yn my- m 1 Cor. 1
negu iw gyfell freuddwyd: ac efe a ddywedodd, 27
Wele breuddwyd a freuddwydiais, ac wele Pen. 3, 31
dorth o fara haidd yn ymdreiglo i werssyll y 2 Bren. 6,
Madianiaid, ac hi a ddaeth hyd y babell, ac ai 20
tarawodd fel y syrthiodd, ac hi ai hymchwelodd
fel y syrthiodd y babell. n Dat. 12,
14 [n] Ai gyfell ef a atebodd, ac a ddywedodd, 16
Nid [yw] hyn ddim onid cleddyf Gedeon mab Num. 23,
Ioas gwr o Israel: Duw a roddodd Madian ai 5
holl fyddin yn ei law ef. o Act 8,
15 [o] Pan glybu Gedeon adroddiad y breudd- 31 Mat. 13, 18 Luc 24, 27 2 Cor. 1, 6

wyd ai ddirnad, yna efe a addolodd: ac a ddychwelodd i werssyll Israel, ac a ddywedodd, Cyfodwch, canys rhoddodd yr Arglwydd werssyll y Madianiaid yn eich llaw chwi.

pEsa. 28, 12 Ioan 1,16 a 15, 5 2Cor. 3,5 2Sam.22, 21 Salm119, 105

16 [p] Ac efe a rannodd y trychan-nwr yn dair byddin, ac a roddodd udcyrn yn llaw pawb o honynt, a phisser gwag, a llugyrn yng-hanol y pisserau.

17 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Edrychwch arnaf, a gwnewch felly: wele pan ddelwyf i gwrr y gwerssyll, yna fel y gwnelwyf fi, gwnewch chwithau.

qAdn 20 1 Sam.17 47 2Cron.20 15

18 [q] Pan udcanwyf mewn udcorn, myfi a'r holl rai a'r [a ydynt] gyd a mi: udcenwch chwithau mewn udcyrn o amgylch yr holl werssyll, a dywedwch [Cleddyf] yr Arglwydd, a Gedeon.

r Ex. 14, 24 Dat. 16, 15

19 [r] Felly Gedeon a ddaeth i mewn a'r cannwr y rhai [oeddynt] gyd ag ef i gwrr y gwerssyll yn nechreu y wiliadwriaeth ganol, a'r gwilwŷr gan godi a godasant, ac a udcanasant mewn udcorn, [s] ac a ddrylliasant y pisserau y rhai [oeddynt] yn eu llaw hwynt.

sSal. 2, 9 Ier.13,13

20 A'r tair byddin eraill a udcanasant mewn udcyrn, ac a ddrylliasant y pisserau ac a ddaliasant y llugyrn yn eu llaw asswy, a'r udcyrn yn eu llaw ddehau i udcanu: llefasant, Cleddyf yr Arglwydd, a Gedeon.

tEx.14,13 2Cron.20 17 Diar. 28, 1

21 [t] A safasant bob un yn ei le o amgylch y gwerssyll: a'r holl werssyll a dorrodd allan, gwaeddasant hefyd, a ffoasant.

2Bren. 7, 6. u 1 Sam 14, 25 2Cron.20 23 1Bren. 4, 12 *Esa. 9,4

22 [u] A'r try chant a udcanasant ag udcyrn, * a'r Arglwydd a osododd gleddyf pob un yn erbyn ei gilydd, ac yn erbyn yr holl werssyll: felly y gwerssyll a ffodd hyd Bethhasitah yn Zererah hyd fin Abel Meholah yn ymyl Tabbath.

23 Yna gwŷr Israel a gasclwyd o Nephthali, ac o Aser, ac o holl Manasses: ac a erlidiasant ar ol y Madianiaid.

v Pen. 8, 12 Pen.3,28 Ioan1,28

24 [v] A Gedeon a anfonodd gennadau i holl fynydd Ephraim gan ddywedyd, Deuwch i wared yn erbyn y Madianiaid, ac achubwch oi blaen hwynt y dyfroedd hyd Bethbarah, a'r Iorddonen: a chasclwyd holl wŷr Ephraim, ac ennillasant y dyfroedd hyd Bethbarah, a'r Iorddonen.

*Sal. 83, 11 Esa.10,26 w Ios. 7, 26 Dat. 14, 19 Pen 8, 4

25 A daliasant ddau * o [w] dywysogion Madian sef Oreb, a Zeeb, a lladdasant Oreb ar graig Oreb, a lladdasant Zeeb wrth win-wryf Zeeb, ac a erlidiasant y Madianiaid; a dugasant bennau Oreb, a Zeeb at Gedeon i'r tu hwnt i'r Iorddonen.

## PEN. VIII.

1 *Cweryl Ephraim yn erbyn Gedeon. 27 Israel yn gwneuthur gau dduw o Ephod Gedeon. 30 Plant Gedeon ai ddiwedd.*

YNA gwŷr Ephraim a ddywedasant wrtho ef, Pa ham y gwnaethost y peth hyn a ni, heb alw arnom ni pan aethost i ymladd yn erbyn y Madianiaid? ac ai dwrdiasant ef yn dost.

2 [x] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Beth a wneuthum i yn awr megis chwi? onid gwell yw lloffiad grawn-win Ephraim, na chascliad grawnwin Abiazar? xDiar.15 1 Phil. 2, 3

3 [y] Duw a roddodd yn eich llaw chwi dywysogion Madian [sef] Oreb, a Zeeb, a pheth a allwn i ei wneuthur wrthych chwi? yna'r arafodd eu dig hwynt tu ag atto ef, pan lefarodd efe y geiriau hyn. ySal.115, 1 a 44,3 2Cron.20 17

4 A Daeth Gedeon i'r Iorddonen: i fyned trosti hi, efe a'r trychan-nwr y rhai [oeddynt] gyd ag ef yn ddeffygiol, ac yn erlid.

5 [z] Ac efe a ddywedodd wrth wŷr Succoth, Rhoddwch attolwg dorthau o fara i'r bobl y rhai ydynt i'm canlyn: canys lluddedic ydynt hwy a minne yn erlyd ar ol Zebah, a Salmunna brenhinoedd Madian. zGen.32, 17 Sal. 60, 6 Deut. 23 4 2Sam.17, 28 Mat. 10, 10

6 [a] A dywedodd tywysogion Succoth, A [yw] llaw Zebah, a Salmunna'n awr yn dy law di: fel y rhoddem ni fara i'th lû di? a 1 Bren 20, 11 2Bren.14 9 Ezra 4.

7 Yna y dywedodd Gedeon, O herwydd hynny pan roddo'r Arglwydd Zebah a Salmunna yn fy llaw i: yna y dyrnaf eich cnawd chwi â drain yr anialwch, ac a mieri. 1Sam. 10 Phil. Pen.

8 [b] Ac efe a aeth i fynu oddi yno i Penuel, ac a lefarodd wrthynt hwythau felly: a gwŷr Penuel ai hattebasant fel yr attebase gwŷr Succoth. bGen. 30 1Bren. 25

9 [c] Ac efe a lefarodd hefyd wrth wŷr Penuel gan ddywedyd, Pan ddychwelwyf mewn heddwch mi a ddestrywiaf y tŵr ymma. c 1 Bren 22, Esa. Diar. 23

10 [d] A Zebah a Salmunna [oeddynt] yn Carcor, ai lluoedd gyd a hwynt yng-hylch pymthengmil, yr hyn oll a adawsid o holl fyddin meibion y dwyrain: a lladdwyd cant ac ugain mil o wŷr yn tynnu cleddyf. dPen. 7, Pen. 15, 17, 2Bren. 26

11 [e] A Gedeon a aeth i fynu tua'r rhai oeddynt yn trigo mewn pabellau o'r tu dwyrain i Nobah, ac i Iogbeha: ac efe a darawodd y fyddin, canys y fyddin oedd ysceulus. e Num. 32, 1Thes. 3 1Sam. 39 Pen.

12 [f] Ond Zebah a Salmunna a ffoasant, ac efe a erlidiodd ar eu hol hwynt: ac a ddaliodd ddau frenin Madian sef Zebah a Salmunna, ac a wascarodd yr holl lû. 27 fAmos. 15 Dat 6,15 16

13 [g] Felly Gedeon mab Ioas a ddychwelodd o'r rhyfel cyn codi'r haul. g Adn. 4

14 Ac efe a ddaliodd langc o wŷr Succoth ac a ymofynnodd ag ef: ac yntef a scrifennodd iddo dywysogion Succoth ai henuriaid, [sef] dau wr ar bymtheg a thrugain.

15 Ac efe a ddaeth at wŷr Succoth ac a ddywedodd, Wele Zebah a Salmunna: [drwy]'r rhai yr amherchasoch fi gan ddywedyd, A [ydyw] llaw Zebah a Salmunna yn awr yn dy law di? fel y rhoddem fara i'th wŷr lluddedic?

16 [h] Yna efe a gymmerth henuriaid y ddinas a drain yr anialwch, a'r mieri: ac a ddrylliodd hDiar. 13

wŷr Succoth a hwynt.
17 ⁱ Tŵr Penuel hefyd a ddinistriodd efe: ac
a laddodd wŷr y ddinas.
18 ʲ Yna efe a ddywedodd wrth Zebah, ac
wrth Salmunna, Pa fath wŷr [oedd] y rhai a
laddasoch chwi yn Thabor? a dywedasant, Te-
byg i ti, [pob] un o ddull meibion brenin.
19 Ac efe a ddywedodd, Fy mrodyr meibion
fy mam [oeddynt] hwy: [fel] mai byw'r Arglwydd
pe gadawsech hwynt yn fyw ni laddwn chwi.
20 ᵏ Yna efe a ddywedodd wrth Iether ei gynt-
afanedic, Cyfot, lladd hwynt, ond ni thynne y
llangc ei gleddyf: o herwydd efe a ofnodd, ca-
nys bachgen [oedd] efe etto.
21 ˡ Yna y dywedodd Zebah a Salmunna, Cyf-
ot ti a rhuthra i ni, canys fel [y byddo]'r gŵr
[felly y bydd] ei rym: a Gedeon a gyfododd, ac
a laddodd Zebah a Salmunna, ac a gymmerth
y colerau y rhai [oeddynt] am yddfau eu camel-
od hwynt.
22 ᵐ A gwŷr Israel a ddywedasant wrth Ge-
deon, Arglwyddiaetha arnom ni, tydi hefyd a'th
fab, a mab dy fab: canys gwaredaist ni o law
Madian.
23 ⁿ A Gedeon a ddywedodd wrthynt, Ni ar-
glwyddiaethafi arnoch, ac ni arglwyddiaetha fy
mab arnoch, [eithr] yr Arglwydd a arglwydd-
iaetha arnoch.
24 ᵒ Dywedodd Gedeon hefyd wrthynt, Gofyn-
naf arch oddi gennych, ar roddi o bob un o
honoch chwi i mi glust-dlysau ei anrhaith; canys
clust-dlysau aur [oedd] ganddynt hwy, o her-
wydd mai Ismaeliaid oeddynt hwy.
25 A dywedasant, Gan roddi y rhoddwn [hwynt,]
a lledasant ryw wisc, a thaflasant yno bob un ei
gust-dlws yr hwn a gawse efe yn sclyfaeth.
26 A phwys y clust-dlysau aur y rhai a ofyn-
nase efe oedd fil, a saith gant [o siclau] aur,
heb law'r colerau, a'r arogl-bellennau, a'r gwis-
coedd porphor y rhai [oeddynt] am frenhinoedd
Madian, ac heb law y tyrch y rhai [oeddynt] am
yddfau eu camelod hwynt.
27 ᵖ A Gedeon a wnaeth hynny yn ephod,
ac ai gosododd yn ei ddinas ei hun Ephra, a holl
Israel a butteiniasant ar ei hol hi yno: a bu
[hynny] yn dramgwydd i Gedeon, ac iw dy ef.
28 ᑫ Felly y darostyngwyd Madian o flaen
meibion Israel, fel na chwanegasant dderchafu
eu pennau: a'r wlad a gafodd lonydd ddeugain
mlynedd yn nyddiau Gedeon.
29 Yna Ierubbaal mab Ioas a aeth ymmaith, ac
a drigodd yn ei dŷ ei hun.
30 Ac i Gedeon yr oedd deng-mab a thrug-
ain a ddeuthe allan oi gorph ef: canys gwragedd
lawer oeddynt ganddo ef.
31 ʳ Ai ordderch-wraig ef yr hon [oedd] yn
Sichem a ymddug hefyd iddo ef fab: ac efe a
osododd ei henw ef yn Abimelech.
32 ˢ Felly Gedeon mab Ioas a fu farw mewn s Gen. 15,
oedran teg, ac a gladdwyd ym meddrod Ioas 15
ei dad yn Ephra [tref] tad yr Esriaid. Iob 5, 26
33 ᵗ A phan fu farw Gedeon, yna meibion Is- t Ios. 24,
rael a ddychwelasant, ac a butteiniasant ar ol 31 2 Bren. 12
Baalim: ac a osodasant Baal-berith yn dduw 2
iddynt.
34 ᵘ Felly meibion Israel ni chofiasant yr Ar- u Sal. 78,
glwydd eu Duw: yr hwn ai gwaredase hwynt o 11 a 106, 13
law eu holl elynnion o amgylch. 21
35 ᵛ Ac ni wnaethant drugaredd a thŷ Ierub- v Preg. 9,
baal Gedeon: yn ol yr holl ddaioni a'r a wnae- 14, 15 Pen. 9, 5
the efe i Israel. 16, 17, 24 56

## PEN. IX.

*1 Abimelech yn barnu y bobl yn ol Gedeon, ac yn lladd ei frodyr. 7 Dammeg Iotham.*

YNA ʷ Abimelech mab Ierubbaal a aeth i w Pen. 8
Sichem, at frodyr ei fam: ac a ymddiddan- 31 Sal. 83, 3
odd a hwynt, ac a holl dylwyth tŷ tâd ei fam, Ier. 18, 18 1 Bren. 12
gan ddywedyd, 28
2 Dywedwch attolwg lle y clywo holl arg-
lwyddi Sichem, pa un oref gennych ai arglwydd-
iaethu arnoch o ddeng-wr a thrugain, oll yn fei-
bion Ierubbaal, ai arglwyddiaethu o un gwr
arnoch? cofiwch gan hynny mai eich ascwrn,
a'ch cnawd ydwyfi.
3 ˣ Yna brodyr ei fam a ddywedasant oi blegit x Sal. 10,
ef lle y clybu holl arglwyddi Sichem yr holl 3
eiriau hynny: ai calon hwynt a drôdd ar ol Abi-
melech, canys dywedasant, Ein brawd ni [yw] efe.
4 ʸ A rhoddasant iddo ddec a thrugain [o sic- y 1 Cron
lau] arian o dy Baal-berith: ac Abimelech a 13, 7 Iob. 30, 8
gyflogodd â hwynt ofer-wŷr gwammal, y rhai
aethant ar ei ol ef.
5 ᶻ Felly efe a ddaeth i dŷ ei dad i Ephra, ac
a laddodd ei frodyr meibion Ierubbaal [y rhai z 2 Bren
oeddynt] ddeng-wr a thrugain â'r un garrec; 10, 7, a 11, 1
ond Iotham mab ieuangaf Ierubbaal a adawyd,
canys efe a ymguddiase.
6 ᵃ Yna holl arglwyddi Sichem, a holl dŷ a 2 Sam. 5,
Milo a ymgasclasant, ac a aethant, ac a urdd- 9 1 Bren. 9,
asant Abimelech yn frenin yn nyffryn * y piler 15 a 11, 27
yr hwn [sydd] yn Sichem. Pen. 3, 9 Ios. 24, 26
7 ᵇ Pan fynegasant [hynny] i Iotham, yna efe 27
a aeth, ac a safodd ar ben mynydd Garizim, ac b Deut
a dderchafodd ei lef, ac a waeddodd; dywedodd 29 Ios. 8, 33
hefyd wrthynt, Gwrandewch arnafi O arglwyddi
Sichem, fel y gwrandawo Duw arnoch chwithau.
8 ᶜ Y coed gan fyned a aethant i eneinio brenin c 2 Bren
arnynt; a dywedasant wrth yr oli-wydden, Teyr- 14, 9
nasa arnom ni.
9 ᵈ Ond yr oli-wydden a ddywedodd wrthynt, d 1 Bren
A beidiafi a'm braster a'r hwn drwofi'r anrhyd- 19, 16 Sal. 104,
eddant Dduw, a dynion? ac a âfi i lywodraethu 15
ar y prennau [eraill?]
10 Yna y coed a ddywedasant wrth y ffigus

bren; Tyret ti teyrnasa arnom ni.
e Deut 33,15 a17 11 e Ond y ffigys-bren a ddywedodd wrthynt,
29 A beidiafi a'm melysdra, ac a'm ffrwyth goref?
ac a âfi i lywodraethu ar y prennau [eraill?]
12 Yna y coed a ddywedasant wrth y win-
wydden: Tyret ti, teyrnasa arnom ni.
f Sal 104. 13 f Ond y win-wydden a ddywedodd wrthynt
15 hwy, A beidiafi a'm melys-win yr hwn sydd yn
llawenhau Duw, a dynion? ac a âfi i lywod-
raethu ar y prennau [eraill?]
14 Yna'r holl goed a ddywedasant wrth y
fieren; Tyret ti, teyrnasa arnom.
g Dan. 4, 15 g A'r fieren a ddywedodd wrth y prennau,
12 Dan. 3,15 Os mewn gwirionedd yr eneiniwch chwi fi yn
Ex. 15,9 2Bren. 14 frenin arnoch, deuwch ac ymddyriedwch yn
19 2Cron. 2, fyng-hyscod i; ac onid ê, fe aiff tân allan o'r fi-
8 eren, ac a yssa cedr-wydd Libanus
16 Felly yn awr os mewn gwirionedd, a pher-
ffeithrwydd y gwnaethoch, ac y gosodasoch
Abimelec yn frenin; ac os gwnaethoch yn dda
ag Ierubbaal, ac a'i dŷ ef, ac os yn ôl haedded-
igaeth ei ddwylaw ef y gwnaethoch iddo (ber-
nwch eich hun;)
h Est. 4,16 17 h Canys fy nhâd a ymladdodd drosoch
Dat. 12, chwi, ac a anturiodd ei einioes ym mhell, ac
11 a'ch gwaredodd chwi o law y Madianiaid.
i Pen. 8, 18 i A chwithau a gyfodasoch yn erbyn tŷ fy
22 nhad i heddyw, ac a laddasoch ei feibion ef [y
rhai oeddynt] ddeng-wr a thrugain âr un gar-
rec; ac a osodasoch Abimelech (mab ei law-
forwyn ef) yn frenin ar arglwyddi Sichem, o
herwydd [ei fod] efe yn frawd i chwi.
j Sal. 28,4 19 j Gan hynny os mewn gwirionedd, ac mewn
perffeithrwydd y gwnaethoch ag Ierubbaal, ac
ai dŷ ef y dydd hwn; llawenychwch gyd ag
Abimelech, a llawenyched yntef gyd a chwithau.
20 k Ac onid ê, aed tân allan o Abimelech, ac
k Adn. 23 yssed arglwyddi Sichem, a thŷ Milo; hefyd el-
ed tân allan o arglwyddi Sichem, ac o dŷ Milo,
ac yssed Abimelech.
l Hos. 19,8 21 l Yna Iotham a giliodd, ac a ffôdd, ac a
aeth ymaith i Beera; ac a drigodd yno rhac
ofn Abimelech ei frawd.
22 Felly Abimelech a deyrnasodd ar Israel
dair blynedd.
m 2 Thes 23 m Ond Duw a anfonodd yspryd drwg rhwng
2, 11 1Bren. 12 Abimelech, ac arglwyddi Sichem; ac arglwyddi
15 a 22,21 1Sam. 18, Sichem a anghywirasant ag Abimelech,
9 Esa. 19, 24 n Fel y dele y traha [a wnelsid a] deng mab
14 Hos. 10,2 a thrugain Ierubbaal; ac fel y gosodid eu gwaed
Mat. 7,2 hwynt ar Abimelech eu brawd yr hwn ai ladd-
Esa. 33,1 n 1 Sam odd hwynt, ac ar arglwyddi Sichem y rhai ai
15, 39 Est. 9,25 cynnorthwyasant ef i ladd ei frodyr.
Mat. 23, 25 o Felly arglwyddi Sichem a osodasant iddo
34 o Hos. 6,21 ef fradwriaeth ar bennau y mynyddoedd, ac
yspeiliasent bawb a'r a oedd yn trammwy heibio
iddynt ar hyd y ffordd; a mynegwyd [hyny] i

Abimelech.
26 p Yna Gaal mab Ebed a ddaeth, efe ai frod- p Pen. 15
yr, ac a drammwyasant i Sichem; ac arglwyddi 6
Sichem a ymddyriedasant ynddo ef.
27 q Am hynny'r aethant i'r maes, ac a gascl- q Amos 6
asant rawn-win eu gwin-llannoedd, ac ai sanga- 13 Esa. 16,9
sant, a gwnaethant yn llawen; a daethant i mewn Adn. 4 Pen. 15,
i dŷ eu duw, bwyttawsant hefyd, ac yfasant, a 32
melldithiasant Abimelech.
28 r Yna Gaal mab Ebed a ddywedodd, Pwy r 1 Sam.
[yw] Abimelech? a phwy [yw] Sichem fel y 25,10 1 Bren
gwasanaethem ef? onid mab Ierubbaal [yw efe?] 12,16 Gen. 34,
onid Zebul [yw] ei swyddog? gwasanaethwch 26
wŷr Hemor tad Sichem, canys pa ham y gwas- Dan. 4,3 Preg.
anaethwn ni ef?
29 s O na bydde'r bobl hyn tan fy llaw i, fel y s 1Sam
bwriwn ymaith Abimelech; ac efe a ddywed- 4 Deut. 5,
odd wrth Abimelech, Amlhâ dy lû a thyret allan.
30 Pan glybu Zebul tywysog y ddinas eiriau 1 Bren.
Gaal mab Ebed; yna y llidiodd ei ddigllonedd ef. Rhuf.
31 Ac efe a anfonodd gennadau at Abimelech 39
yn ddirgel gan ddywedyd; Wele Gaal mab Ebed
ai frodyr yn dyfod i Sichem, ac wele hwynt yn
gwarche y ddinas i'th erbyn.
32 Gan hynny cyfot yn awr liw nôs a'r bobl
y rhai [ydynt] gyd a thi, a chynllwyn yn y maes.
33 t A chyfot yn foreu yng-hylch codiad yr
haul, a rhuthra yn erbyn y ddinas; ac wele [pan] 28
ddelo efe a'r bobl y rhai [ydynt] gyd ag ef allan 1Sam.
i'th erbyn, yna gwna iddo'r hyn a ellech. Preg.
34 Felly Abimelech a gyfododd, a'r holl bobl 10
y rhai [oeddynt] gyd ag ef liw nôs; ac a gyn-
llwynasant yn erbyn Sichem yn bedair byddin.
35 Yna Gaal mab Ebed a aeth allan, ac a saf-
odd [wrth] ddrws porth y ddinas; ac Abimelech
a gyfododd, a'r bobl y rhai [oeddynt] gyd ag ef
o'r cynllwyn
36 u Pan welodd Gaal y bobl, yna efe a ddy- u Marc
wedodd wrth Zebul, Wele bobl yn dyfod i wared 24
o bennau'r mynyddoedd; a dywedodd Zebul
wrtho ef, Cyscod y mynyddoedd yr ydwyt ti'n
ei weled fel dynion.
37 A Gaal a chwanegodd etto lefaru, ac a ddy-
wedodd; Wele bobl yn dyfod i wared o ganol y
tir, ac un fyddin yn dyfod o ffordd gwastadedd
Meonenim.
38 v Yna y dywedodd Zebul wrtho ef, Pa le v Adn.
yn awr [y mae] dy enau di [a]'r hwn y dywed-
aist, Pwy [yw] Abimelech pan wasanaethem ef?
onid dymma y bobl y rhai a ddirmygaist di, dos
allan attolwg yn awr, ac ymladd i'w herbyn.
39 Yna Gaal a aeth allan o flaen arglwyddi
Sichem; ac a ymladdodd yn erbyn Abimelech.
40 Ond Abimelech a'i herlidiodd ef, ac efe a
ffodd o'i flaen ef: a llawer a gwympasant yn ar-
cholledic hyd ddrws y porth.
41 w Ac Abimelech a drigodd yn Arumah; a w Adn.

a Zebul a yrrodd ymmaith Gaal ai frodyr o
bresswylio yn Sichem.
42 A thrannoeth y daeth y bobl allan i'r maes:
a mynegwyd [hynny] i Abimelech.
43 Ac efe a gymmerth y bobl, ac ai rhannodd
yn dair byddin, ac a gynllwynodd yn y maes: ac
efe a edrychodd, ac wele y bobl yn dyfod allan
o'r ddinas, ac efe a gyfododd yn eu herbyn, ac
ai tarawodd hwynt.
44 Ac Abimelec, a'r byddinoedd y rhai
[oeddynt] gyd ag ef a ruthrasant, ac a safasant
wrth ddrws porth y ddinas: a'r ddwy fyddin
[eraill] a ruthrasant ar yr holl rai a [oeddynt] yn
y maes, ac ai tarawsant hwy.
Adn. 6 45 [x] Pan ymladdodd Abimelec yn erbyn y
ro 2,13 ddinas yr holl ddiwrnod hwnnw, yna efe a en-
at. 7,2 illodd y ddinas, ac a laddodd y bobl y rhai
en. 1.7 [oeddynt] ynddi: ac a ddestruwiodd y ddinas,
um. 18. ac ai hauodd a halen.
ot. 21. 46 [y] Pan glybu holl arglwyddi tŵr Sichem
ron. 13 [hynny:] yna y daethant i amddeffynfa tŷ duw
oh. 2,9 Berith.
107. 47 A mynegwyd i Abimelech, ymgasclu o
en. 8, holl arglwyddi tŵr Sichem.
115,8 48 [z] Yna Abimelech a aeth i fynu i fynydd
n. 4 Zalmon, efe a'r holl bobl y rhai [oeddynt] gyd
28.15 ag ef, ac Abimelech a gymmerth fwyeill yn ei
), 5 law, ac a dorrodd gangen o brenn, ac ai dûg hi,
ren. 18 ac ai gosododd ar ei yscwydd: ac a ddywedodd
en 2,2 wrth y bobl y rhai [oeddynt] gyd ag ef, Gwel-
l. 68, soch beth a wneuthum, bryssiwch gwnewch
fel finne.
49 Yna'r holl bobl a dorrasant bob un ei
gangen, ac a aethant ar ol Abimelech, ac ai
gosodasant wrth yr amddeffynfa, ac a loscas-
ant a hwynt yr amddeffynfa a thân: felly holl
arglwyddi tŵr Sichem a fuant feirw, yng-hylch
mil o wŷr a gwragedd.
Bren 50 [a] Yna Abimelech a aeth i Thebez: ac a wers-
10 syllodd yn erbyn Thebez, ac ai hennillodd hi.
14,4 51 Ac yr oedd tŵr cadarn yng-hanol y ddinas
g. 8, a'r holl wŷr a'r gwragedd, a holl arglwyddi
n. 11, y ddinas a ffoasant yno, ac a gaeuasant arnynt:
ac a ddringasant ar nenn y tŵr.
52 Ac Abimelech a ddaeth at y tŵr, ac a ym-
laddodd yn ei erbyn: ac a nesaodd at ddrws y
tŵr iw losci ef â thân.
or. 1, 53 [b] Yna rhyw wraig * a daflodd ddarn o faen
30,45 melin ar benn Abimelech: ac a ddrylliodd ei
n. 11, benglog ef.
31, 3 54 [c] Am hynny efe a alwodd yn fuan ar y
m. 31 llangc yr hwn oedd yn dwyn ei arfau ef, ac a
m. 11, ddywedodd wrtho, Tynn dy gleddyf a lladd fi,
fel na ddywedant am danaf, Gwraig ai lladdodd
ef: yna'r llangc ai trywanodd ef fel y bu efe farw.
55 Pan welodd gwŷr Israel farw o Abime-
lech, yna hwynt a aethant bob un iw fangre.
56 [d] Felly y talodd Duw ddrygioni Abime- d Diar. 5, 22
lech yr hwn a wnelse efe i'w dâd gan ladd ei Sal. 11,6
ddêc brawd a thrugain. Dat. 9,20 21
57 [e] A holl ddrygioni gwŷr Sichem a dalodd Adn 24 e Adn 6,
Duw ar eu penn hwynt: a melldith Iotham 24 Adn 20
mab Ierubbaal a ddaeth arnynt hwy. Ios. 6,26

## PEN. X.

1Bren.16 34

1 *Llywodraeth Tholah ac Iair.* 4 *Sorriant Duw wrth Israel am eu pechodau.*

Y NA [f] y cyfododd ar ol Abimelech i war- f Pen. 3,9
edu Israel Tholah mab Phuah mab Dodo, Heb. 5,4
gŵr o Issachar: ac efe oedd yn trigo yn Samir Ios. 15,48
ym mynydd Ephraim.
2 Ac efe a farnodd Israel dair blynedd ar hug-
ain, ac a fu farw, ac a gladdwyd yn Samir.
3 [g] Ac ar ei ol ef y cyfododd Iair y Gileadiad: g Num 32, 39,
ac efe a farnodd Israel ddwy flynedd ar hugain. Gen. 31,
4 [h] Ac iddo ef yr oedd deng-mab ar hugain yn 48 h Pen. 5.
marchogaeth ar ddec ar hugain o ebolion as- 10
synnod, a dec dinas ar hugain [oedd] ganddynt: Num. 32, 41
y rhai a elwid * Trefydd Iair hyd y dydd hwn, y * Pen 2,
rhai [oeddynt] yng-wlâd Gilead. 11 a 3,7
5 Yna Iair a fu farw, ac a gladdwyd yn Camon. a 6, 1
6 A meibion Israel * a chwanegasant wneuthur * Pen. 2,
yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd, 13
ac a wasanaethasant Baalim, [i] ac Astaroth, a
duwiau Syria, a duwiau Sidon, a duwiau i 1 Bren 11, 33
Moab, a duwiau meibion Ammon, a duwiau y 1Sam.5,2
Philistiaid: a gwrthodasant yr Arglwydd, ac
nis gwasanaethasant ef.
7 [j] Am hynny y llidiodd digllonedd yr Ar- j Pen. 2,14
glwydd yn erbyn Israel: ac efe ai rhoddodd
hwynt yn llaw y Philistiaid, ac yn llaw meibion
Ammon.
8 [k] A hwynt a flinasant, ac a ddrylliasant feib- k Pen. 11,
ion Israel o'r flwyddyn honno allan (sef tair 6
blynedd ar bymthec) [ïe] holl feibion Israel y
rhai [oeddynt] tu hwnt i'r Iorddonen, yng-wlâd
yr Amoriaid yr hon [sydd] yn Gilead.
9 [l] A meibion Ammon a aethant trwy'r Ior- l 2 Cron
ddonen i ymladd hefyd yn erbyn Iuda, ac yn 15, 5
erbyn Beniamin, ac yn erbyn tŷ Ephraim: fel y
bu gyfyng iawn ar Israel.
10 [m] Yna meibion Israel a lefasant ar yr Ar-
glwydd, gan ddywedyd: Pechasom yn dy er- m Pen. 3, 9
byn, o herwydd gwrthodasom ein Duw ni, a
gwasanaethasom Baalim.
11 [n] A dywedodd yr Arglwydd wrth feibion n Pen. 2,1
Israel, Oni [waredais chwi] rhac yr Aiphtiaid, a 6, 23
ac rhac yr Amoriaid, ac rhac meibion Ammon, Mica. 6,3
ac rhac y Philistiaid?
12 Y Sidoniaid hefyd a'r Amaleciaid a'r Mo-
abiaid a'ch gorthrymmasant chwi: a chwi a
alwasoch arnaf, a minne a'ch gwaredais chwi
oi llaw hwynt. o Deut. 32, 15
13 [o] Etto chwi * a'm gwrthodasoch i, ac a Ier. 2, 13
wasanaethasoch dduwiau dieithr: am hynny ni Ier. 18,7.
8 Iona 2,1

waredaf chwi mwyach.

14 [p] Ewch, a llefwch at y duwiau y rhai a ddewisasoch: hwynt a'ch gwaredant chwi yn amser eich cyfyngdra.

15 [q] A meibion Israel a ddywedasant wrth yr Arglwydd, Pechasom, gwna di i ni fel y gwnelech yn ddâ: etto gwaret ni attolwg y dydd hwn.

16 [r] Yna hwynt a fwriasant ymmaith y duwiau dieithr oi mysg hwynt, ac a wasanaethasant yr Arglwydd: ai enaid ef a dosturiodd o herwydd adfyd Israel.

17 [s] Yna meibion Ammon a ymgynnullasant, ac a werssyllasant yn Gilead: a meibion Israel a ymgasclasant, ac a werssyllasant yn Mispah.

18 [t] Y bobl hefyd [a] thywysogion Gilead a ddywedasant bob un wrth ei gilydd, Pa ŵr bynnac a ddechreuo ymladd yn erbyn meibion Ammon: efe a fydd * yn bennaeth ar drigolion Gilead.

## PEN. XI.

*1 Brodyr Iephthah, wedi iddynt ei yrru ef ymmaith oddiwrthynt unwaith, yn ei gyrchu ef trachefn i fod yn llywydd arnynt hwy 12 Cennadwriaeth Iephthah at yr Ammoniaid. 30 Adduned Iephthah ai oruchafiaeth.*

AC [u] Iephthah y Gileadiad oedd [ŵr] cadarn nerthol, ac efe [oedd] fab i wraig orderch: a Gilead a genhedlase'r Iephthah hwnw.

2 [v] A gwraig Gilead a ymddug iddo feibion: a meibion y wraig a gynnyddasant, ac a fwriasant ymmaith Iephthah, ac a ddywedasant wrtho ef, Nid etifeddi di yn nhŷ ein tad ni, canys mab gwraig ddieithr ydwyt ti.

3 [w] Yna Iephthah a ffodd rhac ofn ei frodyr, ac a drigodd yng-wlad Tob: a'r gwâg ddynion ofer a ymgasclasant at Iephthah, ac a aethant allan gyd ag ef.

4 [x] Ac wedi [talm] o ddyddiau meibion Ammon a ryfelasant yn erbyn Israel.

5 A phan oedd meibion Ammon yn ymladd ag Israel, yna henuriaid Gilead a aethant i gyrchu Iephthah o wlâd Tob.

6 A dywedasant wrth Iephthah, Tyret a bydd i ni yn dywysog: fel yr ymladdom yn erbyn meibion Ammon.

7 Yna Iephthah a ddywedodd wrth henuriaid Gilead, Onid chwi a'm casausoch i, ac a'm gyrrasoch o dŷ fy nhad? pa ham y deuwch attafi yn awr pan [yw] yn gyfyng arnoch?

8 [y] A henuriaid Gilead a ddywedasant wrth Iephthah, Am hynny y dychwelasom yn awr attati fel y delyt gyd a ni, ac yr ymladdit yn erbyn meibion Ammon: ac y byddit i ni yn bennaeth ar holl drigolion Gilead.

9 Ac Iephthah a ddywedodd wrth henuriaid Gilead, O throiwch fi yn ol i ymladd yn erbyn meibion Ammon, a rhoddi o'r Arglwydd hwynt o'm blaen i, a fyddaf fi'n bennaeth arnoch chwi?

10 [z] Yna henuriaid Gilead a ddywedasant wrth Iephthah: Yr Arglwydd fyddo'n dyst rhyngom ni, oni wnawn ni felly yn ol dy air di.

11 [a] Felly Iephthah a aeth gyd ag henuriaid Gilead, a'r bobl ai gosodasant ef yn bennaeth ac yn dywysog arnynt: ac Iephthah a adroddodd ei holl eiriau ger bron yr Arglwydd yn Mispah.

12 [b] Yna Iephthah a anfonodd gennadau at frenin meibion Ammon gan ddywedyd: Beth [sydd] i mi a [wnelwyf] a thi fel y delit ti attafi i ymladd yn erbyn fyng-wlâd i?

13 [c] A brenin meibion Ammon a ddywedodd wrth gennadau Iephthah, O * herwydd i Israel ddwyn fyng-wlâd i, (pan ddaeth efe i fynu o'r Aipht) o Arnon hyd Iabboc, ac hyd yr Iorddonen: yn awr gan hynny dod adref hwynt mewn heddwch.

14 [d] Ac Iephthah a chwanegodd etto: ac a anfonodd gennadau at frenin meibion Ammon,

15 [e] Ac efe a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywedodd Iephthah: * Ni ddug Israel dir Moab, na thir meibion Ammon.

16 [f] Ond pan ddaethant hwy i fynu o'r Aipht: yna Israel a rodiodd mewn anialwch hyd y môr côch, ac a ddaeth i Cades.

17 [g] Ac * Israel a anfonodd gennadau at frenin Edom gan ddywedyd, Gâd i mi dramwy attolwg drwy dy wlâd ti, ond ni wrandawodd brenin Edom, ac efe a anfonodd hefyd at frenin Moab, ond ni fynne yntef [ei ollwng ef.] felly Israel a arhosodd yn Cades.

18 Yna hwynt a rodiasant yn yr anialwch, ac a amgylchynasant wlâd Edom, a gwlâd Moab, ac a ddaethant o du codiad haul i wlâd Moab, ac hwy a werssyllasant tu hwnt i Arnon: * ac ni ddaethant o fewn terfyn Moab, canys Arnon [oedd] derfyn Moab.

19 Israel * a anfonodd gennadau at Sehon brenin yr Amoriaid, [sef] brenin Hesbon: ac Israel a ddywedodd wrtho, Gâd i ni dramwy attolwg drwy dy wlâd ti hyd ein gwlâd:

20 [h] Ond nid ymddiriedodd Sehon i Israel fyned trwy ei derfyn ef, eithr Sehon a gasclodd ei holl bobl, ac hwy a werssyllasant yn Iasa: ac efe a ymladdodd yn erbyn Israel.

21 Ac Arglwydd Dduw Israel a roddodd Sehon ai holl bobl yn llaw Israel, a'r [Israeliaid] ai tarawsant hwynt: felly Israel a orescynnodd holl wlâd yr Amoriaid trigolion y wlâd honno.

22 Gorescynnasant hefyd * holl derfynau'r Amoriaid: o Arnon hyd Iabboc, ac o'r anialwch hyd yr Iorddonen.

23 Felly yn awr Arglwydd Dduw Israel a yrrodd yr Amoriaid allan o flaen ei bobl Israel: gan hynny [ai] tydi ai meddiannit hi?

24 [i] Ond yr hyn a orescyn Chamos dy dduw

di a feddienni di? a'r hyn oll a orescynno'r Ar-
glwydd ein Duw o'n blaen ni a feddiannwn
ninnau?
25 Ac yn awr a wyt ti yn well na * Balac
Num. 22,23,24 mab Ziphor brenin Moab? j a ymrysonodd efe
erioed ag Israel, neu gan ymladd a ymladdodd
efe i'w herbyn hwy?
Adn. 16 26 k Pan oedd Israel yn trigo yn Hesbon, ac
Deu15,13 yn ei phentrefydd, ac yn Aroer, ac yn ei phen-
trefydd, ac yn yr holl ddinasoedd y rhai [oedd-
ynt] wrth derfynau Arnon, drychant-mlynedd?
pa ham nad achubasoch [hwynt] y pryd hynny?
Gen. 18, 27 l Am hynny ni phechais i yn dy erbyn di,
1.50,6 ond yr ydwyt ti'n gwneuthur cam a mi, gan
Sam. 24 ymladd yn fy erbyn i: yr Arglwydd yr hwn
n. 31, [sydd] farn-wr a farno heddyw rhwng meibion
Israel a meibion Ammon.
Diar. 29 28 m Er hynny ni wrandawodd brenin meibion
Ammon ar eiriau Iephthah y rhai a anfonase efe
atto.
n.3, 29 n Yna y daeth yspryd yr Arglwydd ar
16,34 Iephthah, ac efe a aeth trosodd i Gilead, ac i
b. 11, Manasses: aeth hefyd trosodd i Mispah Gilead,
ac o Mispah Gilead yr aeth efe at feibion Ammon.
n.28, 30 o Ac Iephthah a addunedodd adduned i'r
.4,18 Arglwydd, ac a ddywedodd, Os gan roddi y
rhoddi di feibion Ammon yn fy llaw i,
f. 27, 31 p Yna'r hwn a ddelo allan o ddrysau fy nhŷ
.66,3 (i'm cyfarfod pan ddychwelwyf mewn heddwch
oddiwrth feibion Ammon) a fydd eiddo'r Arg-
lwydd, a mi ai hoffrymma ef yn boeth offrwm.
32 Felly Iephthah a aeth at feibion Ammon i
ymladd yn eu herbyn: a'r Arglwydd ai rhodd-
ut.3, odd hwynt yn ei law ef.
33 q Ac efe ai tarawodd hwynt o Aroer hyd
27, [y ffordd] y delech di i Mennith [sef] ugain nhi-
nas, ac hyd wastadedd y gwinllanoedd a phlâ
mawr iawn: felly y darostyngwyd meibion Am
mon o flaen meibion Israel.
34 Pan ddaeth Iephthah i Mispah iw dŷ ei
hun, yna wele ei ferch ef yn dyfod allan iw gy-
farfod a thympanau ac a dawnsiau: a hi [oedd]
ei unic [etifedd] ef, nid [oedd] ganddo fab na
merch [arall] o honaw ei hun.
1,30 35 r A phan welodd efe hi, yna efe a rwygodd
4, 5
.5,2 ei wiscoedd, ac a ddywedodd, Ahah fy merch
15,4 gan ddarostwng y darostyngaist fi. ti hefyd yd-
wyt [un] o'r rhai ydynt yn fy molestu: canys myfi
a agorais fyng-enau wrth yr Arglwydd, ac ni all-
af gilio.
0,30 36 s A hi a ddywedodd wrtho ef, Fy nhad [od]
r.7, agoraist dy enau wrth yr Arglwydd gwna i mi
11, yn ol yr hyn a aeth allan o'th enau: wedi i'r Ar-
66,3 glwydd wneuthur er dy fwyn di ddialedd ar dy
elynion di, meibion Ammon.
m1,6
1,25 37 t Hi a ddywedodd hefyd wrth ei thad.
gwneler i mi y peth hyn: paid a mi ddau fis fel
yr elwyf, ac yr arhoswyf ar y mynyddoedd ac
yr ŵylwyf o herwydd fy morwyndod, mi a'm
cyfeillesau.
38 Ac efe a ddywedodd, Dôs, ac a'i gollyng-
odd hi ddau fis: felly hi a aeth a'i chyfeillesau,
ac a ŵylodd o herwydd ei morwyndod ar y
mynyddoedd.
39 u Ac ym mhen y ddau fis hi a ddychwel- u Adn. 31
odd at ei thad, ac efe a wnaeth a hi'r adduned 1 Sam. 2,
yr hon a addunedase efe: a hi ni adnabuase ŵr, 28
a bu [hyn] yn ddefod yn Israel.
40 Merched Israel a aent bob blwyddyn i
alaru am ferch Iephthah y Gileadiad, bedwar
diwrnod yn y flwyddyn.

## PEN. XII.

*1 Yr Ephraimiaid yn cweryla ar Iephthah, ac yntef yn eu lladd hwynt. 8 Ibsan yn llywodraethu ar ei ôl ef. 11 Ac Elon ar ei ôl yntef. 13 Ac Abdon ar ôl hwnnw.*

A Gwŷr v Ephraim a ymgasclasant, ac a y Pen.8,1.
aethant tua'r gogledd: ac a ddywedasant Preg.4,4
wrth Iephthah, Pa ham yr aethost ti drosodd i 2Sam.19,
ymladd yn erbyn meibion Ammon, ac na el- 6
waist arnom ni i fyned gyd a thi? dy dŷ di a Sal.109,4
loscwn ni am dy ben di a thân. Ioan 10,
31
2 w Ac Iephthah a ddywedodd wrthynt hwy, w Pen.11,
Myfi mi a'm pobl oeddem yn ymryson yn dôst 12
yn erbyn meibion Ammon: ac mi a'ch gelwais
chwi, ond ni waredasoch fi o'u llaw hwynt.
3 x Felly [pan] welais i nad oeddech yn fy ach- x 1 Sam.
ub, yna y gosodais fy einioes ar fy llaw: ac yr 19, 5
euthym yn erbyn Ammon, a'r Arglwydd ai Sal. 119,
rhoddodd hwynt yn fy llaw i: i ba beth gan hyn- 109
ny y daethoch i fynu attafi y dydd hwn i ymladd
i'm herbyn:
4 y Yna Iephthah a gasclodd holl wŷr Gilead, y Pen. 12
ac a ymladdodd ag Ephraim: a gwŷr Gilead a 28
darawsant yr Ephraimiaid, am ddywedyd o hon- Diar. 15,
ynt hwy, Ffoaduriad Ephraim ym mysc yr Eph 10
raimiaid [ac] ym mysc Manasses [ydych] chwi 1 Sam. 2,
y Gileadiaid. 25
Diar. 12,
13
Neh. 4, 4
1 Sam.25,
10
5 z A'r Gileadiaid a ennillasant rydau 'r Iorddon- z Pen7,24
en o flaen yr Ephraimiaid, a phan ddywede [un
o'r] Ephraimiaid a ddiangasant, Gedwch i mi fyn-
ed trwodd, yna gwŷr Gilead a ddywedent wrtho,
Ai Ephratead [ydwyt] ti: a dywede yntef, Nage.
6 a Yna y dywedent wrtho, Dywed yn awr a Sal.69,2
Schibboleth; dywede yntef Sibboleth, canys Esa.27,12
ni fedre efe lefaru felly: yna y dalient ef, ac y Mat. 26,
lladdent ef wrth rydau 'r Iorddonen: a chwympodd 73
y pryd hynny o Ephraim ddwy fil a deugen. Mat. 12,
37
7 b Ac Iephthah a farnodd Israel chwe blynedd: b Diar.18
yna y bu farw Iephtha y Gileadiad, ac efe a gladd- 19
wyd yn [un] o ddinasodd Gilead. Preg10,2
8 c Ac ar ei ol ef Ibsan o Bethlehem a farnodd c Gen.35,
Israel. 19
Ios.19,15
9 Ac iddo ef yr oedd deng-mab ar hugain, a
deng-mherched ar hugain [y rhai] a anfonodd

efe allan, a deng-mherched ar hugain [eraill] a
ddûg efe i'w feibion oddiallan: ac efe a farnodd
Israel saith mlynedd.
10 Yna y bu farw Ibsan, ac y claddwyd ef yn
Bethlehem.
11 Ac ar ei ol ef Elon y Zabuloniad a farnodd
Israel, ac efe a farnodd Israel ddeng mlhynedd.
d Pen. 1, 35 12 d Yna Elon y Zabuloniad a fu farw: ac efe
1Cron. 6, a gladdwyd yn Aialon yng-wlâd Zabulon,
69, a 8 3. 13 e Ac Abdon mab Hilel y Parathoniad a
e 2 Sam farnodd Israel ar ei ol ef.
23, 30 Pen5,10 14 f Ac iddo ef yr oedd deugain o feibion, a
a 10 4 dec ar hugain o wyrion yn marchogaeth ar ddec
a thrugain o ebolion assynnod: ac efe a farnodd
Israel wyth mlynedd.
g Ex. 17, 15 g Yna Abdon mab Hilel y Parathoniad a
8 1Sam. 15 fu farw: ac efe a gladdwyd yn Pirathon yng-
7 wlad Ephraim, ym mynydd yr Amaleciaid.

## PEN. XIII.

*1 Y Philistiaid yn gorthrymmu Israel am eu hanwiredd. 3 Angel Duw yn ymddiddan â gwraig Manoah, ac yn addo iddi fab yr hwn a warede Israel. 24 Ganedigaeth Samson.*

*Pen.2, A MEIBION Israel a *chwanegasant wneu-
11.a 3,7 a 4,1. a 6,1 thur yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Ar-
a 10, 6 glwydd: am hynny y rhoddodd yr Arglwydd
hwynt yn llaw y Philistiaid ddeugain mlhynedd.
i Ios. 15, 33 2 i Yna'r oedd rhyw ŵr yn Zorah o dylwyth y
Pen. 16, Daniaid, ai enw ef [oedd] Manoah, ai wraig ef
31 Gen. 16,1 [oedd] amhlantadwy, sef heb planta.
a 25, 21 Luc 1, 7 3 j Ac angel yr Arglwydd a ymddangosodd
1Sam. 1,7 i'r wraig: ac a ddywedodd wrthi, Wele yn awr
j Adn. 16 Pen. 6,11 amhlantadwy ydwyt ti, ac heb planta, ond ti a
Sal. 127,8 feichiogi, ac a escori ar fab.
*Num 6, 2, 3 4 Ac yn awr *ymochel, ac nac ŷf wîn, na diod
Lef. 11,1 gadarn: ac na fwytta ddim aflan.
5 k Canys wele ti a feichiogi, ac a escori ar fab,
k Num. 6 5 ac ni chyffwrdd ellyn ai benn ef, canys Nazar-
1 Sam. 1, 11 ead Duw fydd y bachgen o'r groth: ac efe a
Num 6,2 ddechreu waredu Israel o law y Philistiaid.
1Sam. 7, 13 6 l Yna y daeth y wraig ac a fynegodd iw gŵr
2Sam.8,1 Hos. 14,6 gan ddywedyd, Gŵr Duw a ddaeth attafi, ai
2Bren. 4, 8 bryd ef [oedd] fel pryd angel Duw yn ofnadwy
1 Tim. 6. 11 iawn: ond ni ofynnais iddo o ba le yr oedd efe
1Tim.2,9 ac ni fynegodd yntef i mi ei henw.
7 Ond efe a ddywedodd wrthif, Wele, ti a
feichiogi, ac a esgori ar fab: ac yn awr nac ŷf wîn,
na diod gadarn, ac na fwytta ddim aflan, canys
Nazaread Duw fydd y bachgen o'r grôth hyd
yn nydd ei farwolaeth.
m Act.9,6 8 m Yna Manoah a weddiodd ar yr Arglwydd,
ac a ddywedodd, Attolwg fy Arglwydd gad ti i
ŵr Duw'r hwn a anfonaist ti ddyfod eil-waith
attom ni, fel y dysco efe i ni beth a wnelom ni
i'r bachgen yr hwn a enir.
n Mat.7,7 9 n A Duw a wrandawodd ar lef Manoah: ac
Sal. 65,2 angel Duw a ddaeth eilwaith at y wraig pan
oedd hi yn eistedd yn y maes, a Manoah ei gŵr
heb [fod] gyd a hi.
10 o A'r wraig a fryssiodd, ac a redodd, ac a o Preg. 4,
fynegodd iw gwr, ac a ddywedodd hefyd wrtho 9
ef, Wele ymddangosodd y gŵr i mi yr hwn a
ddaeth attafi y dydd [arall.]
11 Yna Manoah a gyfododd, ac a aeth ar ol ei
wraig: ac a ddaeth at y gwr, ac a ddywedodd
wrtho ef, Ai ti [yw'r] gŵr yr hwn a leferaist wrth
y wraig? dywedodd yntef [Îe] myfi.
12 p A dywedodd Manoah, Deled yn awr dy p Gen.
eiriau: [ond] pa ddull fydd y bachgen ai weith- 19 Eph. 6,4
redoedd? Diar. 4,4
13 Ac angel yr Arglwydd a ddywedodd wrth
Manoah: Rhac yr hyn oll a ddywedais wrth y
wraig, ymoched hi.
14 q Na fwyttaed hi o ddim a ddel allan o'r q Num.
win-wydden, nac yfed hi win, na diod gadarn, 3, 4 Mat.
ac na fwyttaed ddim aflan: cadwed yr hyn oll a 20
orchymynnais iddi hi.
15 r Yna y dywedodd Manoah wrth angel yr r Pen. 6,
Arglwydd: Gad attolwg i ni dy attal, fel y par- 18, 19
atôm fynn gafr ger dy fron di.
16 s Ac angel yr Arglwydd a ddywedodd s Mat. 6,
wrth Manoah, Pe attelit fi ni fwyttawn o'th fara 11 Diar.
di, ond os gwnei boeth offrwm, gwna ef i'r Ar- Heb.
glwydd: canys ni wydde Manoah mai angel Adn.
yr Arglwydd [oedd] efe. 25
17 t A Manoah a ddywedodd wrth angel yr t 1Bren.
Arglwydd, Beth [yw] dy enw? fel i'th anrhydedd- 7, 8 2Bren.
om di pan ddelo dy eiriau di [i benn.] 5
18 u Ac angel yr Arglwydd a ddywedodd u Esa.
wrtho ef, I ba beth yr ymofynni a'm fy enw? canys
rhyfeddol yw.
19 v Yna Manoah a gymmerth fynn gafr, a v Pen.
bwyd offrwm, ac a boeth offrymmodd ar y 26 1Bren.
graig i'r Arglwydd: ac efe a wnaeth yn rhyfedd, 38 Esa.
a Manoah ai wraig oeddynt yn edrych. Pen. 15
20 w Canys pan dderchafodd y fflam oddiar yr w Exod.
allor tua'r nefoedd, yna angel yr Arglwydd a 28 Mat. 7
dderchafodd yn fflam yr allor: Manoah ai wraig
oeddynt yn edrych, a hwynt a syrthiasant i lawr
ar eu hwynebau.
21 Ac ni chwanegodd angel yr Arglwydd
ymddangos mwyach i Manoah, nac iw wraig ef:
yna y gwybu Manoah mai angel yr Arglwydd
[oedd] efe.
22 A Manoah a ddywedodd wrth ei wraig, * *Ex.
Gan farw y byddwn farw: canys Duw a welsom. 20 Pen.
23 x Yno ei wraig a ddywedodd wrtho ef, Pe x Cor.
mynnase'r Arglwydd ein lladd ni, ni chymmer- 21 1Sam.
ase efe y poeth offrwm, a'r bwyd offrwm o'n 32 Gen.
llaw ni, ac ni ddangosase efe i ni'r holl bethau 3 Sal.
hyn: ac ni pharase efe i ni y pryd hyn glywed
y fath bethau.
24 A'r wraig a ymddug fab, ac hi a alwodd ei
enw ef Samson: a'r bachgen a gynnyddodd, a'r
Arglwydd ai bendithiodd ef.

25 Ac yspryd yr Arglwydd a ddechreuodd ar
Mat.4,1 amseroedd * ddyfod arno [y] ef yng-werssyll Dan:
Rhuf. 8, 14 rhwng Sorah, ac Esthoal.

Pen.18, 1

## PEN. XIV.

Pen.16,4 1 *Samson yn gwreica ym mysc y Philistiaid. 6 Yn lladd llew. 12 Yn dal cynglwyst ar ddirnad dammeg. 17 Ei wraig yn ei fradychu ef. 19 Yntef yn lladd dec ar hugain o'r Philistiaid i dalu y gynglwyst. 20 Ei wraig yn priodi un arall.*

Gen.28,
A [a] SAMSON a aeth i wared i Thimnath:
ac a gaufu wraig yn Thimnath a ferched
y Philistiaid.
2 [a] Ac efe a ddaeth i fynu, ac a fynegodd i'w dad
ac iw fam, ac a ddywedodd, Gwelais wraig yn
Thimnath o ferched y Philistiaid: cymmerwch
yn awr honno yn wraig i mi.
3 [b] Yna y dywedodd ei dad ai fam wrtho ef,
Onid [oes] ym mysc merched dy frodyr, nac ym
mysc fy holl bobl wraig, pan ydwyt ti yn myn-
ed i geisio gwraig o'r Philistiaid dienwaededic?
a dywedodd Samson wrth ei dad, Cymmer hi i
mi canys y hi sydd [dda] iawn gennif.
4 [c] Ond ni wybu ei dad ef nai fam mai oddiwrth
yr Arglwydd [yr oedd] hyn, [ac] mai ceisio ach-
os yr oedd efe yn erbyn y Philistiaid: canys y
Philistiaid oeddynt y pryd hynny yn arglwydd-
iaethu ar Israel.
5 [d] Yna Samson a aeth i wared, ai dad, ai fam
i Thimnath: ac a ddaethant hyd winllannoedd
Thimnath, ac wele genew llew yn rhuo yn ei
gyfarfod ef.
6 [e] Ac yspryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef,
ac efe a holltodd [y llew] fel yr holltid mynn, ac
nid [oedd] dim yn ei law ef: ac ni fynegodd efe
iw dad, nac iw fam yr hyn a wnelse.
7 Yna efe a aeth i wared, ac a ymddiddanodd
a'r wraig, ac yr oedd hi yn hawddgar yng-olwg
Samson.
8 [f] Ac yn ol ychydig ddyddiau efe a ddych-
welodd iw chymmeryd hi, ac a drodd i edrych
yscyrbwd y llew: ac wele haid o wenyn a mêl
yng-horph y llew.
9 Ac efe ai cymmerth yn ei law, a than ger-
dded y cerddodd, ac y bwyttaodd, ac efe a
aeth at ei dad ai fam, ac a roddodd iddynt, a
hwynt a fwyttawsant: ond ni fynegodd iddynt
hwy mai o gorph y llew y dugase efe y mêl.
10 [g] Felly ei dad ef a aeth i wared at y wraig:
a Samson a wnaeth yno wledd, canys felly y
gwnae y gwŷr ieuaingc.
11 [h] A phan welsant hwy ef, yna y cymmeras-
ant ddec ar hugain o gyfeillion i fod gyd ag ef.
12 [i] Yna Samson a ddywedodd wrthynt, Rho-
ddaf i chwi ddychymmyg yn awr, os gan fyne-
gu y mynegwch ef i mi o fewn saith niwrnod y
wledd, ac ai cewch: yna y rhoddaf i chwi ddec
ar hugain o liullionennau, a dec ar hugain pâr o
wiscoedd newyddion.
13 Ond os chwi ni fedrwch ei fynegu i mi, yna
chwi a roddwch i mi ddec ar hugain o linllion-
ennau, a dec pâr ar hugain o wiscoedd: hwy-
thau a ddywedasant, Traetha dy ddychymmyg
fel y clywom ef.
14 [j] Ac efe a ddywedodd wrthynt, O'r hwn Ioan6.51 Heb.2,14
oedd yn bwytta y daeth bwyd allan, ac o'r cryf
y daeth allan felusdra: ond ni fedrent ddirnad
y dychymmyg [mewn] tri diwrnod.
15 [k] Ac yn y seithfed dydd y dywedasant wrth k Diar.16 3
wraig Samson, Huda dy ŵr fel y mynego efe i Job31,27
ni y dychymmyg, rhac i ni dy losci di, a thŷ dy
dâd a thân: ai i'n gorescyn ni i'n gwahoddas-
och, ai nad ê?
16 [l] Yna gwraig Samson a ŵylodd wrtho ef, l Pen. 16, 15
ac a ddywedodd, Yn ddiau y mae yn gâs gennit
fi, ac ni'm hoffaist: dychymmyg a roddaist i
feibion fy mhobl, ac ni's mynegaist i mi: a dy-
wedodd yntef, Wele nis mynegais i'm tad, nac
i'm mam, ai mynegwn gan hynny i ti?
17 Felly hi a ŵylodd wrtho ef y saith niwr-
nod hynny tra yr oeddid yn cynnal y wledd,
ac yn y seithfed dydd y mynegodd efe iddi hi:
canys yr oedd hi yn ei flino ef, yna hi a fyneg-
odd y dychymmyg i feibion ei phobl.
18 [m] Yna gwŷr y ddinas a ddywedasant wrtho m Mic.7, 5
ef y seithfed dydd cynn machludo yr haul,
Beth [sydd] felusach na mêl? a pheth gryfach
na llew? dywedodd yntef wrthynt, Oni buase
i chwi aredic a'm anner i, ni chawsech allan fy
nychymmyg.
19 [n] Ac yspryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef, n Pen. 1, 18
ac efe a aeth i wared i Ascalon, ac a darawodd Pen.15,1
o honynt ddec ar hugain, ac a gymmerth eu
hyspail, ac a roddodd y gwiscoedd newyddion
i'r rhai a fynegasant y dychymmyg: ai ddig-
llonedd ef a lidiodd, ac efe a aeth i fynu o dŷ
ei dad.
20 [o] A phriododd gwraig Samson ei gyfell ef o Pen 15, 2
ei hun, yr hwn oedd gyfeillgar ag ef. Ioan 3,29

## PEN. XV.

*Samson yn llosci ŷd y Philistiaid. 6 Hwythau yn llosci ei wraig ef a'i thad, 19 Samson yn cael dwfr o gilddant carr gên assyn.*

AC [p] wedi [talm] o ddyddiau yn amser cyn- p Gen.6,4
haiaf y gwenith, yna Samson a aeth i ym- Ioel 2,16
weled ai wraig, a mynn gafr, ac a ddywedodd,
Mi a âf i mewn at fyng-wraig i'r stafell: ond ni
chanhiade ei thad hi iddo ef fyned i mewn.
2 [q] Yna ei thad a lefarodd, gan ddywedyd, Ty- q Gen.24,
gaswn it ei chasau hi, am hynny y rhoddais hi 34 a 35,14 1 Cor. 7,
i'th gyfell di: onid [yw] ei chwaer ieuangach yn 36
lanach na hi? bydded [honno] i ti attolwg yn ei
lle hi.
3 A Samson a ddywedodd wrthynt, Difeiach
ydwyf y waith hon na'r Philistiaid: am hynny
y gwnaf niwed iddynt.

r Sal. 63, 4 r Yna Samson a aeth allan, ac a ddaliodd
10 dry-chant o lwynogod: ac a gymmerth ffaglau,
Can. 3, 14 ac a drodd gynffon y naill at y llall, ac a osododd
Galar. 5, 18 un ffagl rhwng [pob] dwy gynffon yn y canol.
Esa. 9, 15 5 Felly efe a gynneuodd dân yn y ffaglau, ac
Mat. 16, 1 a loscodd hyd yn oed y dasau a'r ŷd a oedd ar
ei draed, y gwinllanoedd hefyd a'r oliwydd.
s 1 Thes. 4, 6 6 s Yna y Philistiaid a ddywedasant, Pwy a
wnaeth hyn? Hwythau a ddywedasant, Samson
daw y Thimniad, canys efe a ddug ei wraig ef,
ac ai rhoddodd i'w gyfell: a'r Philistiaid a aeth-
ant i fynu, ac ai lloscasant hi ai thad a thân.
t Pen. 14, 19 7 t A dywedodd Samson wrthynt, Er i chwi
Rhuf. 12, 19 wneuthur fel hyn: etto mi a ymddialaf arnoch
chwi, nac wedi [hynny] y peidiaf.
u Deut. 28, 5 8 u Ac efe ai tarawodd hwynt [ar] glûn [ac] ar
Ezec. 9, 5, 6 forddwyd a phlâ mawr: yna efe a aeth i wared,
Ios. 19, 1 ac a arhosodd yng-hoppa craig Etam.
9 Yna y Philistiaid a aethant i fynu, ac a
werssyllasant yn Iuda: ac a ymledasant yn Lehi.
v Est. 3, 6 10 v A gwŷr Iuda a ddywedasant, Pa ham y
daethoch i fynu i'n herbyn ni? a dywedasant
hwythau, I rwymo Samson y daethom i fynu, i
wneuthur iddo ef fel y gwnaeth efe i ninnau.
w Pen. 13, 1 11 w Yna tair mil o wŷr o Iuda a aethant i
Deut. 28, wared i goppa craig Etam, ac a ddywedasant
13, 47, 48 wrth Samson, Oni wyddost ti mai yr Philistiaid
sydd yn arglwyddiaethu arnom ni? pa ham
gan hynny y gwnaethost hyn a ni; dywedodd
yntef wrthynt, Fel y gwnaethant hwy i mi, felly
y gwneuthum inne iddynt hwythau.
x Pen. 8, 6 12 x Dywedasant hwythau wrtho, I'th rwymo
Phil. 2, 21 di y daethom i wared, [ac] i'th roddi yn llaw y
Act. 7, 25 Philistiaid: a Samson a ddywedodd wrthynt,
Tyngwch wrthif na ruthroch i'm herbyn eich
hunain.
13 Hwythau ai hattebasant ef gan ddywedyd,
Ni [ruthrwn] eithr gan rwymo i'th rwymwn di,
ac i'th roddwn yn eu llaw hwynt, ond ni ladd-
wn monot: a rhwymasant ef a dwy o raffau ne-
wyddion, ac ai dugasant ef i fynu o'r graig.
y Ex. 15, 9 14 y Efe a ddaeth hyd Lehi, a'r Philistiaid a
Pen. 5, 30 floeddiasant wrth gyfarfod ag ef: ac yspryd yr
Phil. 4, 13 Arglwydd a ddaeth arno ef, a'r rhaffau y rhai
Sal. 118, 11 oeddynt âm ei freichiau a [aethant] fel edafedd
llin a loscasyd yn tân, a'r cylymmau a ddattod-
asant oddiam ei ddwylaw ef.
z 1 Cor. 1, 27 15 z Ac efe a gafodd ên assyn îr, ac a estyn-
Zec. 4, 6 nodd ei law, ac ai cymmerodd, ac a darawodd
Pen. 3, 31 a hi fil o wŷr.
16 Yna Samson a ddywedodd, A gên yr assyn
[y lleddais] ben-twrr, [ie] ddau ben-twrr: a gên
yr assyn y tarewais fil o wŷr.
17 A phan orphennodd efe lefaru, yna efe a
daflodd yr ên o'i law: ac efe a alwodd y lle hwn-
nw Ramath Lehi.
a Sal. 3, 7, 8 18 a Ac efe a sychedodd yn dôst, ac a lefodd
Heb. 11, 32 ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Tydi a rodd-
aist yn llaw dy was yr ymwared mawr ymma:
ac yn awr a fyddafi farw gan syched? ac a syr-
thiafi yn llaw y rhai dienwaededic?
19 b Yna Duw a holltodd y cilddant yr hwn b Esa. 41, 18
[oedd] yn yr ên fel y daeth allan ddwfr o honaw,
ac efe a yfodd, ai yspryd a ddychwelodd, fel
yr adfywhaodd efe: am hynny y galwyd ei henw
Ffynnon y geilwad, yr hon [sydd] yn Lehi hyd y
dydd hwn.
20 c Ac efe a farnodd Israel yn nyddiau y c Pen. 3, 13
Philistiaid ugain mlhynedd. a 13, 5

## PEN. XVI.

*Y modd y diangodd Samson o Azzah. 17 Y twyllodd Dalila ef. 33 Ac y bu efe farw.*

YNA d Samson a aeth i Azzah, ac a gafodd d Ios. 13, 3
yno buttein-wraig, † ac efe a aeth i mewn Pen. 15, 19
atti hi. † Heb. fel at
2 e [A mynegwyd] i'r Azzathiaid gan ddywed- e 1 Sam. 23, 26
yd, Daeth Samson ymma, a hwynt a gylchyn-
asant, ac a gynllwynasant iddo ef ar hyd y nos Pen. 15, 14
ym mhorth y ddinas: a hwynt a ymostegasant
yr holl nos, gan ddywedyd, [Tawn a son] hyd y
boreuawl oleuni, yna y lladdwn ef.
3 f Pan orweddase Samson hyd hanner nos, f Sal. 12, 2
yna efe a gyfododd yng-hefnynt y nos, ac a ym Ier. 5, 8
aflodd yn nrysau porth y ddinas, ac yn y ddau
bost, ac efe a aeth ymmaith a hwynt yng-hyd
a'r barr, ac ai gosododd ar ei yscwyddau, ac ai
dug hwynt i fynu i benn y mynydd yr hwn
[oedd] gyferbyn a Hebron.
4 g Ac wedi hyn efe a garodd wraig yn nyffryn g Sal. 3
Sorec, ai henw Dalila. Neh. 26
5 h Yna pendefigion y Philistiaid a aethant i 1 Cor. 6
fynu atti hi, ac a ddywedasant wrthi, Huda ef, Diar. 11
ac edrych ym mha [le y mae] ei fawr nerth ef, a h Pen.
pha fodd y gorthrechwn ef, fel y rhwymom ef 15 Diar. 7
i'w gystuddio: ac ni a roddwn i ti bob un fil, a 26 Mat.
chant [o siclau] arian. 15
6 i A Dalila a ddywedodd wrth Samson, My- Pen. Gen.
nega i mi attolwg ym mha [fann y mae] dy 16 1 Tim.
fawr nerth di? a pha fodd i'th rwymid i'th gys- 10
tuddio. Iuda Num.
7 j Yna Samson a ddywedodd wrthi, Pe 17
rhwyment fi a saith o wdyn irion y rhai ni sych- i Diar.
asent: yna y gwanhawn, ac y byddwn fel gŵr Sal. 11 j Rhuf.
arall. 8 Gen.
8 k A phendefigion y Philistiaid a ddugasant Sal. 11
i fynu atti hi saith o wdyn irion y rhai ni chrin- k Diar.
asent: a hi ai rhwymodd ef a hwynt. Sal.
9 (A chynllwynwyr oedd yn aros gyddi Ioan
mewn stafell,) a hi a ddywedodd wrtho ef, [Y
mae] y Philistiaid [yn dyfod] arnat Samson; ac
efe a dorrodd y gwdyn, fel y torrir edef garth
wedi cyffwrdd [a'r] tân, felly nid adnabuwyd
ei gryfder ef.
10 l Ac [eil-waith] y dywedodd Dalila wrth l Diar. 13
Samson, Wele ti a'm twyllaist, ac a ddywedaist

gelwydd wrthif: yn awr mynega i mi attolwg pa
fodd i'th rwymir.
11 Yna y dywedodd efe wrthi, Pe gan rwymo
y rhwyment fi a rhaffau newyddion y rhai ni
wnaethpwyd gwaith a hwynt: yna i'm gwan-
heuid, ac y byddwn fel gŵr arall.
Diar.6 12 m Am hynny Delila a gymmerth raffau ne-
wyddion, ac ai rhwymodd ef a hwynt, ac a
ddywedodd wrtho, [Y mae] y Philistiaid [yn
dyfod] arnat ti Samson, (ac yr oedd cynllwyn
yn aros mewn stafell:) ac efe ai torrodd hwynt
oddi ar ei freichiau fel edef.
Pen.19, 13 n Dalila hefyd a ddywedodd wrth Samson,
Hyd yn hyn y twyllaist fi, ac y dywedaist gel-
wydd wrthif, mynega i mi a pha beth i'th rwy-
mid: dywedodd yntef wrthi hi, Pe plethit ti
saith o gudynnau fy mhen wrth garfan gwehydd
Ezra 9, 14 o A hi ai gwnaeth hwynt yn siccr a hoel,
ac a ddywedodd wrtho ef, [Y mae] y Philist-
iaid [yn dyfod] arnat ti Samson; ac efe a ddeff-
rodd oi gwsc, ac efe a aeth ymmaith a hoel y
wê, ac a'r garfan.
15 Yna y dywedodd hi wrtho ef, Pa fodd y
dywedi Cu gennyf dy di, a'th galon heb [fod]
gyd a mi? ac ni fynegaist i mi ym mha [fann y
mae] dy nerth di.
iar.7, 16 p Ac o herwydd ei bod hi yn ei flino ef ai
.21,4 geiriau beunydd, ac yn ei boeni ef; yna ei en-
aid a ymofidiodd i farw.
Cron 17 q Am hynny efe a fynegodd iddi ei holl fe-
13,3 ddwl, ac a ddywedodd wrthi, Ni chyffyrddodd
m 6,5 ellyn a'm pen i canys Nazaread Duw ydwyf fi o
2,14 groth fy mam; ped eillid fi, yna y cilie fy nerth
oddi wrthif, ac y gwanhawn, ac y byddwn fel
[y mae] pob dyn [arall.]
dn 5 18 r Pan welodd Dalila fynegu o honaw ef
im. 6. iddi hi ei holl feddwl, yna'r anfonodd hi, ac y
galwodd am bendefigion y Philistiaid, gan ddy-
wedyd, Deuwch i fynu un-waith, canys efe a
fynegodd i mi ei holl feddwl; yna pendefigion y
Philistiaid a ddaethant i fynu atti hi, ac a
ddugasant arian yn eu dwylo.
h.3, 19 s A hi a wnaeth iddo gyscu ar ei gliniau,
r.7, ac a alwodd ar ŵr, ac a barodd eillio saith gu-
23 dyn ei ben ef; a hi a ddechreuodd ei gystuddio
ef, ai nerth a ymadawse oddi wrtho ef.
.7,12 20 t Yna hi a ddywedodd, [Y mae] y Philist-
9.23 iaid [yn dyfod] arnat ti Samson; ac efe a dde-
. 17, ffrôdd oi gwsc, ac a ddywedodd, Af allan y
waith hon fel cynt, ac ymescydwaf, ond ni wy-
dde efe fod yr Arglwydd wedi cilio oddi wrtho
eb.3, 21 u A'r Philistiaid ai daliasant ef, ac a dyn-
107, nasant ei lygaid ef, ac ai dugasant ef i wared i
.9,12 Azzah, ac ai rhwymasant ef a gefynnau, ac efe
a fu yn malu yn nhŷ y carcharorion.
22 Eithr gwallt ei ben ef a ddechreuodd dyfu
ar ol ei eillio.
23 v Yna pendefigion y Philistiaid a ymgas- v 2Sam.5
clasant i aberthu aberth mawr i Ddagon eu- 2 Rhuf. 1,
duw, ac i orfoleddu; canys dywedasant, Ein 23, 25
duw ni a roddodd Samson ein gelyn yn ein
llaw ni.
24 w Pan welodd y bobl ef, yna y canmolasant w Dan. 5,
ei duw; canys dywedasant, Ein duw ni a rodd- 4 Dat. 11,
odd ein gelyn yn ein dwylo ni, a'r hwn a oedd 10
yn anrheithio ein gwlad ni, a'r hwn a laddodd
lawer o honom ni.
25 x A phan oedd eu calon hwynt yn llawen, x Iob 30 9
yna y dywedasant, Gelwch am Samson i beri i Heb. 11. 36
ni chwerthyn: a hwynt a alwasant am Samson Sal 35,16
o'r carchardy fel y chwarâe o'i blaen hwynt, a
hwynt ai cyfleuasent ef rhwng y colofnau.
26 y Yna Samson a ddywedodd wrth y llangc y Pen. 9,
yr hwn oedd yn ymaflyd yn ei law ef, Gollwng, 27
a gad i mi gael gafael ar y colofnau y rhai y
siccrhawyd y tŷ arnynt: fel y pwyswyf arnynt.
27 z A'r tŷ oedd yn llawn o wŷr a gwragedd, z Deut.22
a holl bendefigion y Philistiaid [oeddynt] yno; 8
ac ar y nenn [yr oedd] yng-hylch tair mil o wŷr
a gwragedd yn edrych pan ydoedd Samson yn
chware.
28 a Yna Samson a lefodd ar yr Arglwydd, a Heb.11, 32
ac a ddywedodd, O Arglwydd Ior, cofia fi at- Sal.50,15
tolwg yn unic y waith hon O Dduw, fel y dial- a 116,4 Ioan.3,1
wyf [ag] un dialedd ar y Philistiaid am fy nau 2Cron.20
lygaid i. 12.
29 A Samson a gofleidiodd y ddwy golofn
ganol y rhai yr oedd y tŷ wedi ei sicrhau ar-
nynt, ac efe a ymgynhaliodd wrthynt hwy; un
[oedd] yn ei ddeheulaw, a'r llall yn ei law asswy.
30 b Yna y dywedodd Samson, Bydded farw b 1 Thes.
fy einioes gyd â'r Philistiaid, ac efe a ymdyn- 5, 3 Preg. 9,
nodd yn gryf, fel y syrthiodd y tŷ ar y pende- 12 Mat. 24,
figion, ac ar yr holl bobl [y rhai] oeddynt ynddo; 38 Iob 31, 3
a'r meirw y rhai a laddodd efe wrth farw o ho- Dat. 11,
naw oeddynt fwy [o nifer] nac a laddase efe yn 12 1Sam. 15
ei fywyd. 32 Col. 2,15
31 c Ai frodyr ef, a holl dŷ ei dad ef a ddaeth- Heb.2,14
ant i wared, ac ai dugasant ef, ac a aethant i c Pen. 13, 2
fynu, ac ai claddasant ef rhwng Sorah, ac Es- Pen. 15, 20
thaol ym meddrod Manoah ei dad; ac efe a
farnase Israel ugain mlynedd.

## PEN. XVII.

*Gau dduwiaeth Micah.*

AC yr oedd gŵr o fynydd Ephraim a'i enw
Micah.
2 Ac efe a ddywedodd wrth ei fam, Y mil a'r
cant [sicl] arian hynny y rhai a ddugpwyd oddi
arnat, ac y rhegaist [am danynt] fel y dywed-
aist hefyd lle y clywais, Wele yr arian gyd a
mi, myfi a'i cymmerais hwynt; yna y dywed- d Ex.20,4
odd ei fam, Bendigedic [fyddech] fy mab gan Deut.12,
yr Arglwydd. 8 Pen. 8,27
3 d Pan roddodd efe y mil a'r cant [sicl] ar- Lef.19,12 Pen.18,17

ian adref i'w fam: yna ei fam a ddywedodd,
Gan gyssegru y cyssegrais yr arian i'r Ar-
glwydd o'm llaw fy hun i'm mab i wneuthur
delw gerfiedic, a thoddedic, am hynny yn awr
mi a'i rhoddaf eilwaith.
eEsa.46,6 4 [e] Wedi talu o honaw yr arian i'w fam, yna
ei fam ef a gymmerth ddau cant [sicl] o arian, ac
ai rhoddodd i'r toddudd, ac efe ai gwnaeth yn
ddelw gerfiedic a thoddedic, a hi a fu yn nhŷ
Micah.
fEx.28,4 5 [f] A chan y gŵr hwn Micah [yr oedd] teml:
Gen. 31,19 ac efe a * wnaeth Ephod a * Theraphiaid, ac a
Lef.7.37 1Bren.12 gyssegrodd un o'i feibion i fod yn offeiriad iddo.
31 gPen.8, 6 [g] Yn y dyddiau hynny nid [oedd] brenin yn
27 Israel: pob un a wnae yr hyn oedd [h] union yn ei
Gen. 31,19 olwg ei hun.
Hos.3,4 gPen.18, 7 [i] Ac yr oedd llangc o Bethlehem Iuda o
1 a 21,25 dylwyth Iuda: a Lefiad [oedd] efe, ac efe a ym-
Gen. 36,31 deithiase yno.
hDeut.12,8 8 [j] (A'r gŵr a aeth o'r ddinas [sef] o Bethle-
Diar. 14,12 hem Iuda) i drigo pa le bynnac y caffe efe [le:]
2Bren.20,3 ac efe a ddaeth i fynydd Ephraim hyd yn nhŷ
iPen.19,15 Micah yn ei ymdaith.
jAdn 13 9 A Micah a ddywedodd wrtho ef, O ba le y
Rhuf.16,18 daethost ti? Dywedodd yntef wrtho, Lefiad
ydwyf o Bethlehem Iuda, a myned yr ydwyf i
drigo lle y caffwyf [le.]
k 2Bren. 10 [k] Yna Micah a ddywedodd wrtho ef, Trig
6,21.a 8,9 a 13,14 gyd a mi, a bydd i mi yn dad, ac yn offeiriad,
Ezec. 13,19 a minne a roddaf i ti ddec [o siclau] arian bob
blwyddyn, a dwy wisc, a'th luniaeth: felly y
Lefiad a aeth [gyd ag ef.]
11 A'r Lefiad a fu fodlon i aros gyd a'r gŵr;
a'r llangc oedd iddo fel un o'i feibion ei hun.
12 A Micah a urddodd y Lefiad, a'r llangc fu
yn offeiriad iddo; ac a arhosodd yn nhŷ Micah.
lDiar.13,7 13 [l] Yna y dywedodd Micah, Yn awr y gwn y
gwna'r Arglwydd ddaioni i mi: gan fod Lefiad
gennifi'n offeiriad.

## PEN. XVIII.

*Meibion Dan yn gyrru i chwilio y wlad am ehangder idd-
ynt hwy. 11 Eu rhyfel-wyr hwynt yn dwyn eulyn-dduw-
iau Micah ai offeiriad, 27 Ac yn ennill Lais.*

mPen.17,6 YN [m] y dyddiau hynny nid [oedd] frenin yn
a 21,25 Israel; ac yn y dyddiau hynny llwyth
Pen. 1,3 Phil. 2,4 Dan oedd yn ceisio iddo etifeddiaeth i drigo,
*Ios. 19,47 canys ni * syrthiase iddo ef hyd y dydd hwnnw
etifeddiaeth ym mysc llwythau Israel.
nPen.13,2 2 [n] Am hynny meibion Dan a anfonasant o'i
Pen. 17,1 tylwyth bump o wŷr oi brô [sef] gwŷr grymmus
o Sorah, ac o Esthaol i gerdded y wlad, ac i'w
chwilio, ac a ddywedasant wrthynt, Ewch.
chwiliwch y wlad; yna y daethant i fynydd
Ephraim hyd tŷ Micah ac a letteuasant yno.
oMat.26,73 3 [o] [Pan oeddynt] hwy wrth dŷ Micah, yna
Pen. 12,6 hwynt a adnabuant lais y llangc [sef] y Lefiad;
ac a droasant yno, ac a ddywedasant wrtho, Pwy
a'th ddug di ymma? a pheth yr ydwyt ti yn ei
wneuthur ymma? a pheth [sydd] i ti ymma?
4 [p] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Fel hyn, ac pPen. 17,10
fel hyn y gwnaeth Micah i mi; ac efe a'm cyflog-
odd i, ai offeiriad ef ydwyfi.
5 [q] A hwynt a ddywedasant wrtho ef, Ymgyng-
hora attolwg a Duw; fel y gwypom a lwydda ein
fordd yr hon yr ydym yn rhodio arni.
6 [r] A'r offeiriad a ddywedodd wrthynt, Ewch
mewn heddwch; yr Arglwydd a lwydda eich
ffordd chwi yr hon a gerddwch chwi.
7 [s] Yna y pum-wr a aethant ymmaith, ac a
ddaethant i Lais; pan welsant hwy y bobl y rhai
[oeddynt] ynddi yn trigo mewn diogelwch yn ol
arfer y Sidoniaid yn llonydd, ac yn ddiofal, ac
heb ddim yn gwneuthur sarhaed ar y wlad, [na
neb] yn etifeddu y frenhiniaeth, ai [bod] hwynt
ym mhell oddi wrth y Sidoniaid ac heb gyweith-
as rhyngddynt a neb.
8 Yna y daethant at eu brodyr i Sorah, ac
Esthaol: ai brodyr a ddywedasant wrthynt, Beth
[a ddywedwch] chwi?
9 [t] Hwythau a ddywedasant, Cyfodwch ac awn
i fynu arnynt, canys gwelsom y wlad, ac wele
da iawn [yw hi:] ai tewi'r ydych chwi? na rus-
wch fyned i ddyfod i mewn i oresgyn y wlad.
10 [u] (Pan ddeloch, chwi a ddeuwch at bobl
ddiofal, a gwlad ehang [ei] therfynau) canys Duw
ai rhoddodd hi yn eich llaw chwi; [sef] lle'r hwn
nid oes ynddo brinder o ddim oll a'r y [sydd]
yn y bŷd.
11 Am hynny yr aeth oddi yno, o dylwyth y
Daniaid, o Sorah, ac o Esthaol chwe chan-wr
wedi ymwregysu ag arfau rhyfel.
12 [v] A hwynt a aethant i fynu, ac a werssyllas-
ant yn Ciriath-Iearim yn Iuda: am hynny y gal-
wasant y fann honno * Mahaneh Dan hyd y dydd
hwn, wele [y mae] o'r tu ol i Ciriath-Iearim.
13 [w] Ac hwy a aethant oddiyno i fynydd Eph-
raim; a daethant hyd tŷ Micah.
14 [x] A'r pum-wr y rhai a aethant i chwilio gwlad
Lais a lefarasant, ac a ddywedasant wrth eu bro-
dyr, Oni wyddoch chwi fod yn y tai hyn ephod,
a Theraphiaid, a delw gerfiedic, a thoddedic?
gan hynny gwybyddwch yn awr beth a wneloch.
15 [y] A hwy a droasant yno, ac a ddaethant
hyd dŷ y llangc [sef] y Lefiad [yn] nhŷ Micah:
ac a gyfarchasant iddo yn heddychlon.
16 A'r chwe chan-wr y rhai oeddynt wedi eu
gwregyssu ag arfau rhyfel, oeddynt yn sefyll
[wrth] ddrws y porth: [sef] y rhai [oeddynt] o
feibion Dan.
17 [z] Yna'r pum-wr y rhai a aethant i chwilio
y wlad a escynnasant, [ac] a aethant i mewn
yno, [a] dugasant ymaith y ddelw gerfiedic a'r
Ephod, a'r Teraphiaid, a'r ddelw doddedic: a'r
offeiriad oedd yn sefyll wrth ddrws y porth gyd

a'r chwe-chan-wr y rhai oeddynt wedi ymwre-
gyssu ag arfau rhyfel.
18 Pan aeth y rhai hynny i dŷ Micah, a [phan]
ddugasant ymmaith y ddelw gerfiedic, yr Eph-
od, a'r Teraphiaid, a'r ddelw doddedic: yna'r
offeiriad a ddywedodd wrthynt, Beth yr yd-
ych chwi yn ei wneuthur?
Iob 21,5 19 a Hwyntau a ddywedasant wrtho, Taw-sôn,
29,9 gosot dy law ar dy safn, a thyret gyd a ni, a
Diar. 30, bydd i ni yn dâd ac yn offeiriad: ai gwell i ti
2 fod yn offeiriad i dŷ un gŵr, na'th fod yn off-
Mic. 7,16 eiriad i lwyth, ac i deulu yn Israel?
Phil 3,9 20 b A da fu [hynny gan] galon yr offeiriad, ac
Esa. 56,10 efe a gymmerth yr Ephod, a'r Teraphiaid, a'r
Diar. 30, ddelw gerfiedic: ac efe a aeth ym mysc y bobl.
Pen. 17, 21 A hwynt a droasant, ac a aethant ym-
10, 11 maith: ac a osodasant y plant, a'r anifeiliaid,
Tim. 6, a'r golud oi blaen hwynt.
Pedr. 2,
Zec. 13, 22 [Pan] oeddynt hwy ym mhell oddiwrth
r. 3, 6 dŷ Micah: yna y gwŷr y rhai [oeddynt] yn y
ct. 20, tai, y rhai [oeddynt] wrth dŷ Micah, a ymgas-
clasant, ac a erlidiasant feibion Dan.
23 A hwynt a waeddasant ar feibion Dan,
hwythau a droasant eu hwynebau: ac a ddywed-
asant wrth Micah: Beth [a ddarfu] i ti pan yd-
wyt yn bloeddio?
Zec. 23 24 c Yntef a ddywedodd, Y duwiau y rhai a
50,38 wneuthum i a ddugasoch chwi ymmaith, a'r off-
11. 17,2 eiriad, ac a aethoch i ffordd, a pheth [sydd]
ar. 7,14 gennifi mwyach? pa ham gan hynny y dywed-
51,17 wch wrthif, Beth [a ddarfu] i ti?
115,7
Sam. 25 d A meibion Dan a ddywedasant wrtho,
8 Na phâr glywed dy lef yn ein mysg ni: rhac i
26,9 wŷr digllon ruthro i'th erbyn, a cholli o honot
dy einioes ac einioes dy [dylwŷth.]
26 Felly meibion Dan a aethant iw ffordd:
pan ganfu Micah mai cryfach oeddynt hwy nag
ef, yna efe a drodd, ac a ddychwelodd iw dŷ
ei hun
27 A hwynt a gymmerasant yr hyn a wnaethe
Micah, a'r offeiriad yr hwn oedd ganddo ef, ac
a ddaethant i Lais at bobl lonydd, a diofal, ac
ai tarawsant hwynt a min y cleddyf: ac a losc-
asant y ddinas a thân.
n. 14, 28 e Ac nid [oedd] waredudd, canys pell [oedd]
19,47 hi oddi wrth Sidon, ac nid [oedd] cyweithas
m. 10, rhyngddynt a nêb, hefyd [yr oedd] hi mewn
dyffryn yr hwn [ydoedd] wrth Bethrebob: yna'r
adailadasant y ddinas, ac a drigasant ynddi.
s. 19, 29 A galwasant * enw y ddinas Dan, yn ol
henw Dan eu tad yr hwn a anesyd i Israel. ac
er hynny Lais [oedd] henw y ddinas yn gyntaf.
n. 14, 30 f Yna meibion Dan a osodasant iddynt y
m. 4, ddelw gerfiedic: ac Ionathan mab Gersom mab
14
78,60 Manasses efe ai feibion fuant yn offeiriaid i
lwyth Dan, hyd ddydd caeth-gludiad y wlâd.
os, 18,1 31 g Felly y gosodasant iddynt y ddelw ger-
fiedic yr hon a wnaethe Micah, yr holl ddyddiau
a'r y bu tŷ Dduw yn Silo.

## PEN. XIX.

*Annaturiol bechod y Gibeaid, 29 Y modd y darniodd y Lefiad ei wraig, i beri i Israel dosturio wrth ei gam ef.*

AC yn y dyddiau hynny, * pan nad [oedd] *Pen. 17,
frenin yn Israel: yr oedd rhyw Lefiad yn 6. a 18, 1
aros yn ystlysau mynydd Ephraim, ac efe a Gen. 22, 24, a 25,6
gymmerodd iddo * ordderch-wraig h o Bethle- h Mal. 2, 15
hem Iuda. Gen. 35, 19
2 i Ai ordderchwraig ef a butteiniodd gyd ag i Diar. 30, 21
ef, ac a aeth ymmaith oddi wrtho ef i dŷ ei thâd Gen. 16,6
i Bethlehem Iuda: ac yno y bu hi bedwar mîs o
ddyddiau.
3 j Yna ei gŵr hi a gyfododd, ac a aeth ar ei j Gal. 6,1
hol i ddywedyd yn dêg wrthi hi, [ac] iw throi Lef. 19,17
adref, ei langc hefyd [oedd] gyd ag ef, a chwpl
o assynnod; a hi ai dûg ef i mewn i dŷ ei thad:
pan welodd tad y llangces ef, yna efe a lawen-
ychodd am gyfarfod ag ef.
4 k Ai chwegrwn ef, tâd y llangces ai daliodd ef k Ex. 32,6
[yno], ac efe a dariodd gyd ag ef dri-diau: bwyt-
asant hefyd, ac yfasant, a lleteuasant yno.
5 l A'r pedwerydd dydd y cyfodasant yn forau, l Sal. 104, 15
yntef a gyfododd i fyned ymaith: a thad y llangc- Gen. 18,5
es a ddywedodd wrth ei ddaw, Nertha dy galon 1 Bren. 13, 7
a thammed o fara, ac wedi hynny dôs ymmaith.
6 m Felly hwynt a eisteddasant, ac a fwytasant m Pen. 16, 15
ill dau yng-hyd, ac a yfasant: a thâd y llangces
a ddywedodd wrth y gŵr, Bydd fodlon attolwg,
ac aros dros nôs fel y llawenhao dy galon.
7 Ond y gŵr a gyfododd i fyned ymaith, ai
chwegrwn ef a fu daer arno: am hynny efe a
drodd, ac a leteuodd yno.
8 Ac efe a gyfododd yn forau y pummed dydd
i fyned ymaith, a thad y llangces a ddywedodd,
Cyssura dy galon attolwg, ac hwy a drigasant
nes gostwng y dydd: ac a fwyttasant ill dau.
9 Yno y gŵr a gyfododd i fyned ymaith, efe ai
ordderch, ai langc: ai chwegrwn tad y llangces
a ddywedodd wrtho ef, Wele yn awr y dydd a
laesodd i hwyrhau, arhoswch tros nôs attolwg,
wele yr haul yn machludo, trig ymma fel y lla-
wenycho dy galon, a chodwch yn forau y foru
i'ch taith, fel yr elech i'th babell.
10 n A'r gŵr ni fynne aros, eithr cyfododd ac n Ios. 15, 63
aeth ymmaith, a daeth hyd ar gyfer Iebus, hon 2 Sam. 5,6
[yw] Ierusalem: a chyd ag ef gwpl o assynnod Pen. 1, 8
llwythoc, ai ordderch-wraig gyd ag ef.
11 o [Pan oeddynt] hwy wrth Iebus, yr oedd o Gen. 10, 16
y dydd ar ddarfod, yna y llangc a ddywedodd
wrth ei feistr, Dos attolwg fel y trôm i ddinas y
Iebusiaid, ac y lleteuom ynddi.
12 p Ai feistr a ddywedodd wrtho ef, Ni throi- p Ios. 15, 63
wn ni i ddinas estronol, yr hon nid [yw] o feib- Pen. 1, 8
ion Israel: eithr nyni a awn hyd Gibea. 2 Sam. 5,6
13 q Ac efe a ddywedodd wrth ei langc, Tyret q Pen. 20, 31

a nessawn i un o'r lleoedd hynny, fel y lletteu-
om yn Gibea, neu Ramah.
14 Felly y cerddasant, ac yr aethant: a'r haul
a fachludodd iddynt wrth Gibea yr hon [oedd]
eiddo Beniamin.
r Sal. 26,9 15 r Ac hwy a droasant yno i ddyfod i mewn
Heb. 13,2, i leteu i Gibea: ac efe a ddaeth i mewn, ac a
Mat. 25, 35 eisteddodd yn heol y ddinas, canys nid [oedd]
neb ai cymmere hwynt [iw] dŷ i leteu.
s Gen. 5, 19 16 s Ac wele ŵr hen yn dyfod oi waith o'r
2 Thes. 3, 10 maes yn hwyr, a'r gŵr [oedd] o fynydd Eph-
Mat. 6,25 raim, ond ei fod ef yn ymdaith yn Gibea: a
a 10, 10 Eph. 4,28 gwŷr y lle hwnnw [oeddynt] feibion Iemini.
1 Cor. 9,14 17 Ac efe a ddyrchafodd ei lygaid, ac a ganfu
2 Cor. 8,9 Preg. 1, 13 y gŵr yr hwn oedd yn ymdaith yn heol y ddinas;
a 5, 12 yna y gŵr hen hwnnw a ddywedodd, I ba le yr
Sal. 104, 23 ei di, ac o ba le y daethost?
a 128, 2 18 t Yntef a ddywedodd wrtho, Tramwyo yr
Iob. 34,15 Gen. 35, 18 ydym ni o Bethlehem Iuda i ystlysau mynydd
t Rhuf. 9, 5 Ephraim o'r lle i'm [heniw,] a mi a euthum hyd
Pen. 18, 31 Bethlehem Iuda: a myned yr ydwyf i dŷ yr Ar-
1 Sam. 3,1 glwydd, ac nid [oes] neb a'm derbyn i dŷ:
19 Y mae [gennym ni] wellt, ac ebran hefyd
i'n hassynnod, a bara hefyd, a gwin i mi, ac i'th
law-forwyn, ac i'r llangc [yr hwn sydd] gyd
a'th weision: heb prinder o ddim oll.
u Philem 3 20 u A'r hen-wr hwnnw a ddywedodd, Tang-
neddyf i ti [cei] gyd a mi beth bynnac sydd
yn ddiffig arnat, yn unic nac aros tros nos yn
yr heol.
v Gen. 18, 4 21 v Felly efe ai dûg ef i mewn iw dŷ, ac a
borthodd yr assynnod: ac hwy a olchasant eu
traed, ac a fwyttawsant, ac a yfasant.
w Deut. 13, 13 22 w [Pan] oeddynt hwy yn llawenhau ei calon,
Gen. 19,4 Hos. 9, 9 yna wele wŷr y ddinas, gwŷr anwir a amgylch-
a 10. 9 ynasant y tŷ [ac] oeddynt yn curo wrth y drws:
Gen. 4, 1 a 19, 5 ac a ddywedasant wrth y gŵr, perchen y tŷ [sef]
Rhuf. 1, 26 yr henwr hwnnw gan ddywedyd, Dŵg allan
y gŵr yr hwn a ddaeth i mewn i'th dŷ di fel yr
adwaenom ef.
* Gen. 19, 8 23 A'r gŵr [sef] perchen y tŷ a * aeth allan,
x Diar. 7, 7. ac a ddywedodd wrthynt, x Peidiwch fy mro-
Gen. 34,7 dyr, na wnewch niwed attolwg: wedi i'r gŵr
2 Sam. 13, 12, 13 hwn ddyfod i'm tŷ i, na wnewch yr yscelerder
hyn.
y Gen. 19, 8 24 y Wele fy merch yr hon [sydd] forwyn, ai
ordderch yntef, dygaf hwynt allan yn awr, a
chystuddiwch hwynt, neu gwnewch iddynt yr
hyn fyddo da yn eich golwg: ond i'r gŵr hwn
na wnewch ddim o'r scelerder ymma.
z Gen. 4,1 25 z Ond ni fynne'r gwŷr wrando arno, am
hynny y gŵr a ymaflodd yn ei ordderch, ac ai
dug hi allan attynt hwy: a hwy ai hadnabuant
hi, ac a ymwnaethant a hi'r holl nos hyd y borau,
a Adn. 28 a phan gyfododd y wawr hwynt ai gollyngasant
Gen. 18, 18 hi ymmaith.
1 Pedr 3,6 26 a Yna 'r wraig a ddaeth pan ymddangosodd
y borau: ac a syrthiodd wrth ddrws tŷ 'r gŵr
yr hwn [yr oedd] ei harglwydd ynddo hyd ol-
euni [y dydd.]
27 Ai harglwydd a gyfododd yn forau, ac a
agorodd ddrŷsau 'r tŷ, ac a aeth allan i fyned
i'w daith: ac wele ei ordderch-wraig ef yn gor-
wedd wrth ddrws y tŷ, ai llaw ar y trothwy.
28 b Ac efe a ddywedodd wrthi, Cyfod, fel yr b Pen. 20, 5
elom ymmaith, ond nid oedd hi yn atteb: yna
efe ai cymmerth hi ar yr assyn, a'r gŵr a gyfod-
odd, ac a aeth ymmaith iw faugre ei hun.
29 c Pan ddaeth iw dŷ, yna efe a gymmerth c Deut. 21, 22
gyllell, ac a ymaflodd yn ei ordderch, ac ai dar- Gal. 3,13
niodd hi, ai hescyrn yn ddeuddec darn: ac ai
hanfonodd i holl derfynau Israel.
30 d A phawb a'r a welodd [hynny] a ddywed- d 1 Sam. 25, 5
odd, Ni wnaethpwyd, ac ni welpwyd y fath beth Hos. 9, 9
er y dydd y daeth meibion Israel o wlâd yr Pen. 20, 13
Aipht hyd y dydd hwn: ystyriwch ar hynny, Sal. 11,3
ymgynghorwch, a threuthwch [eich meddwl.] Diar. 13, 10

## PEN. XX.

*Yr Israeliaid yn ymgyfarfod ym Mispah. 3 Ac wedi gwrando cwyn y Lefiad, yn gyrru i gyrchu y rhai a wnaethent y scelerder iw cospi.*

YNA e holl feibion Israel a aethant allan, a'r e Adn. 13
gynnulleidfa a ymgasclodd o un fryd o Adn. 11
Ddan hyd Beerseba, a gwlad Gilead at yr Ar- 1 Sam. 3, 20
glwydd i Mispah.
2 f A phennaethiaid yr holl bobl a safasant [o]
holl lwythau Israel yng-hynnulleidfa pobl Dduw:
[sef] pedwar cau mil o wŷr traed yn tynnu
cleddyf.
3 g (A meibion Beniamin a glywsant fyned o g Diar. 3
feibion Israel i Mispah:) yna meibion Israel a
ddywedasant, Lleferwch pa fodd y bu y dryg-
ioni hyn?
4 h Yna y gŵr hwnnw y Lefiad [sef] gŵr y h Pen. 19, 14
wraig yr hon a laddesid, a attebodd, ac a ddy-
wedodd: I Gibea yr hon [sydd] eiddo Beniamin
y deuthum i, mi a'm gordderch i leteua.
5 A gwŷr Gibea a gyfodasant i'm herbyn i ac
a amgylchynasant y tŷ yn fy erbyn liw nos: am-
canasant fy lladd i, a threisiasant fyng-ordderch
fel y bu hi farw.
6 i Yna'r ymaflais yn fyng-ordderch, ac y der- i Gen.
niais hi, * anfonais hefyd hi i bob gwlad o eti-
feddiaeth Israel: canys gwnaethant ffieidd-dra
ac scelerder yn Israel.
7 j Wele meibion Israel [ydych] chwi oll, moes- j Ex.
wch rhyngoch air, a chyngor ymma. 1 Cor.
8 k Yna y cyfododd yr holl bobl o un fryd gan k Diar.
ddywedyd, Nac eled neb o honom iw babell, ac
na throed neb o honom iw dŷ.
9 l Ond yn awr, hyn [yw'r] peth yr hwn a wnawn l Hos.
ni i Gibea: [ny'ni a awn i fynu] i'w herbyn wrth
goel-bren.
10 Ac ni a gymmerwn ddeng wr o'r cant drwy
holl lwythau Israel; a chant o'r mil, a mil o'r

deng-mil i ddwyn lluniaeth i'r bobl: i wneuthur
(pan ddelont i Gibea Beniamin) yn ol yr holl
ffieidd-dra yr hwn a wnaeth hi yn Israel.
11 Felly'r ymgasclodd holl wŷr Israel at y
ddinas yn gydtun fel un gŵr.
Deut. 12 [m] A llwythau Israel a anfonasant wŷr at
,10 s 22,13 holl lwythau Beniamin gan ddywedyd, Beth
iut.12, [yw]'r drygioni ymma yr hwn a wnaethpwyd yn
eich mysc chwi?
1 Sam 13 [n] Ac yn awr rhoddwch y gwŷr anwir hyn-
,21 eut.13, ny y rhai [oeddynt] yn Gibea fel y lladdom
en. 19, hwynt, ac y deleom ddrygioni o Israel: ond ni
fynne meibion Beniamin wrando ar lais eu bro-
iam. 2, dyr meibion Israel.
iuf. 1, 14 Eithr meibion Beniamin a ymgynnullasant
at.18,4 o'r dinasoedd at Gibea: i fyned allan i ryfel yn
erbyn meibion Israel.
dn, 26 15 [o] A chyfrifwyd meibion Beniamin y dydd
47, 48 n.8,10 hwnnw o'r dinasoedd yn chwe mil ar hugain o
wŷr yn tynnu cleddyf: heb law trigolion Gibea,
y rhai a gyfrifwyd yn saith gant o wŷr etholedic.
16 O'r holl bobl hyn [yr oedd] saith gant o
en. 3, wŷr etholedic * anafus oi llaw ddehau: pob un
on.12 o honynt a ergydie a charreg at y blewin heb
ballu.
17 Gwŷr Israel hefyd a gyfrifwyd heb law
Beniamin yn bedwar cant mil yn tynnu cleddyf:
pawb o honynt yn rhyfel-wŷr.
dn.26 18 [p] A meibion Israel a gyfodasant, ac a aeth-
1. 19, ant i fynu i Bethel, ac a [q] ymgynghorasant a
en.1,1 Duw, ac a ddywedasant, Pwy o honom ni a aiff
m.27, i fynu yn gyntaf i ryfela yn erbyn meibion Ben-
28,30 iamin? a dywedodd yr Arglwydd, Iuda [a aiff]
.9, 14 .50.15 a.2.21 yn gyntaf.
n. 28 19 Yna meibion Israel a gyfodasant yn forau:
r.5,1 or.12 ac a werssyllasant yn erbyn Gibea.
20 A gwŷr Israel a aethant allan i ryfel yn
ra 9,3, erbyn Beniamin: a gwŷr Israel a fyddinasant
ryfel iw herbyn hwy wrth Gibea.
eg.9, 21 [r] A meibion Beniamin a ddaethant allan o
77,19 Gibea: ac a ddifethasant o Israel y dwthwn
hwnnw ddwy fil ar hugain o wŷr i'r llawr.
dn.15, 22 [s] Etto ymgryfhaodd y bobl [sef] gwŷr Is-
rael: ac a chwanegasant luniaethu rhyfel yn y
lle'r hwn y byddinasent ynddo y dydd cyntaf.
ef.1,3 in. 26, 23 [t] Canys meibion Israel a aethent i fynu, ac
a ŵylasent ger bron yr Arglwydd hyd yr hwyr,
ymgynghorasent hefyd a'r Arglwydd gan ddy-
wedyd, A chwanegafi nessau i ryfel yn erbyn
meibion Beniamin fy mrawd? a dywedase'r Ar-
glwydd, Dos i fynu yn ei erbyn ef.
24 Yna meibion Israel a nessasant at feibion
Beniamin yr ail dydd.
25 Beniamin hefyd a aeth allan o Gibea i'w
cyfarfod hwynt yr ail dydd, a hwynt a ddifeth-
asant o feibion Israel eil-waith dair mil ar bym-
thec o wŷr i'r llawr: y rhai hyn oll oeddynt yn
tynnu cleddyf.
26 [u] Yna meibion Israel a'r holl bobl a aethant u Pen.19, 18
i fynu, ac a ddaethant i Bethel, ŵylasant hefyd, a 21, 2
ac arhosasant yno ger bron yr Arglwydd, ac Galar. 1, 1
ymprydiasant y dwthwn hwnnw hyd yr hwyr: Sal.137,1 a 23, 6
ac offrymmasant boeth-offrymmau, ac offrym-
mau hedd ger bron yr Arglwydd.
27 [v] A meibion Israel a ymgynghorasant a'r v Num. 27, 21
Arglwydd: (canys yno [r oedd] Arch cyfammod
Duw yn y dyddiau hynny.
28 [w] A Phinees mab Eleazar mab Aaron oedd w Num.
yn sefyll ger ei fron ef yn y dyddiau hynny) gan 25, 7 Deut.10,
ddywedyd, A chwanegafi mwyach fyned allan i 8, a 18, 8
ryfel yn erbyn meibion Beniamin fy mrodyr,
neu a beidiaf? a dywedodd yr Arglwydd, Ewch
i fynu, canys y foru y rhoddaf ef yn dy law di.
29 [x] Ac Israel a osododd rai i warche ar Gibea x Ios. 8, 4 2 Sam. 5,
oddi amgylch. 23
30 Felly meibion Israel a aethant i fynu yn
erbyn meibion Beniamin y trydydd dydd: ac a
fyddinasant wrth Gibea fel cynt.
31 [y] Yna meibion Beniamin a aethant allan i y Pen.10, 13
gyfarfod a'r bobl [a] thynnwyd hwynt o'r ddin- Ios.18,24
as: a hwynt a ddechreuasant daro [rhai] o'r bobl
yn archolledic fel cynt (yn y priffyrdd, o'r rhai,
un sydd yn myned i fynu i Bethel, ac arall i
Gibea drwy'r maes) yng-hylch deng-wr ar hug-
ain o Israel.
32 Am hynny meibion Beniamin a ddywe-
dasant, Cwympwyd hwynt o'n blaen ni fel cynt:
ond meibion Israel a ddywedasent, Ffoiwn fel y
tynnom hwynt o'r ddinas i'r priffyrdd.
33 Yna holl wŷr Israel a gyfodasant oi lle, ac
a fyddinasant yn Baal-thamar a'r [sawl] a oedd
[o] Israel yn cynllwyn a ddaeth allan oi fangre
[sef] o wyrgloddiau Gibea.
34 [z] A daeth ar gyfer i Gibea ddeng-mil o wŷr z Ios.8.14
etholedic o holl Israel, a'r rhyfel a drwmhaodd: Esa. 47, 11
ond ni ŵyddent fod y drwg hwnnw yn digwyddo Preg. 8, 11. 12
iddynt. 2Pedr.2. 12
35 [a] A'r Arglwydd a darawodd Beniamin o Luc21,34
flaen Israel fel y difethodd meibion Israel o'r a 17, 16 Diar. 29,
Beniaminiaid y dwthwn hwnnw bum-mil ar 6 1Thes.5,
hugain a chan-nwr: a hwynt oll yn tynnu cle- 3 Iob 21,13
ddyf. a Pen. 8, 10
36 Felly meibion Beniamin a welsant mai eu Adn.7,45
lladd yr oeddyd: canys gwŷr Israel a roddasant
le i'r Beniaminiaid, o herwydd hydêru o honynt
wrth y cynllwyn-wŷr y rhai a osodasent yn er-
byn Gibea.
37 [b] A'r cynllwyn-wŷr a fryssiasant, ac a ru- b Ex. 14, 13
thrasant yn erbyn Gibea: a'r cynllwyn-wŷr a Ios. 6. 5
udcanasant yn hiraethlon, ac a darawsant yr holl Pen. 4, 6
ddinas a min y cleddyf.
38 Ac yr oedd amser nodedic rhwng gwŷr
Israel a'r cynllwyn-wŷr: [sef] peri o honynt i
fflam fawr [a] mwg dderchafu o'r ddinas.

cAdn. 31 39 [c] Pan drôdd gwŷr Israel [eu cefnau] yn y rhyfel, yna Beniamin a ddechreuodd daro yn archolledic o wŷr Israel ynghylch deng-wr ar hugain, canys dywedasant, [d] Diau gan daro eu
dEx.15,9 taro hwynt o'n blaen ni, fel yn y rhyfel cyntaf.
1Thes. 5, 3 40 Pan ddechreuodd y fflam dderchafu o'r ddinas [fel] colofn o fŵg: yna Beniamin a edrychodd yn ei ol, ac wele fflagl y ddinas oedd yn derchafu i'r nefoedd.

41 Yna gwŷr Israel a droasant yn ol, a gwŷr Beniamin a frawychasant: o herwydd hwy a ganfuant fod drygioni yn digwyddo iddynt hwy.

42 Am hynny hwynt a droasant o flaen gwŷr Israel tua ffordd yr anialwch, a'r rhyfel ai hymlidiodd hwynt: a'r rhai [a ddaethant] o'r dinasoedd oeddynt yn eu mysc hwy yn eu difetha hwynt.

43 [Fellu]'r amgylchynasant y Beniaminiaid, erlidiasant hwynt [hyd] Menhua, sathrasant hwynt hyd yng-hyfer Gibea tua chodiad haul.

44 A lladdwyd o'r Beniaminiaid dair mil ar bymthec o wŷr: y rhai oll [oeddynt] wŷr nerthol.

e Ios. 15, 31 45 [e] A hwynt a droasant, ac a ffoasant i'r anialwch tua chraig Rimmon, a'r [Israeliaid] a loff-
1Cron. 6, 77 asant [o] honynt ar hyd y priffyrdd bum mil o wŷr: erlidiasant hefyd ar eu hol hwynt hyd Gidom, a lladdasant o honynt ddwy fil o wŷr.

f Adn. 35 46 [f] A'r hyn oll o gwympodd o Beniamin o-
Pen. 11, 26 eddynt bum mil ar hugain o wŷr yn tynnu cleddyf y dwthwn hwnnw: hwynt oll [oeddynt] wŷr nerthol.

gEsa. 1,9 47 [g] Etto chwe chan-wr a droasant, ac a ffo-
Hab. 3,2 asant i'r anialwch i graig Rimmon: ac a arho-
Galar. 3, 55 sasant yng-hraig Rimmon bedwar mis.
2Bren 25, 27 48 Yna gwŷr Israel a ddychwelasant at fei-
Sal. 103,9 Ier. 14,7 bion Beniamin, ac ai tarawsant hwy a min y cleddyf, yn ddŷn, ac yn anifail, a pheth bynnac a gafwyd: yr holl ddinasoedd hefyd a'r a adawsid a loscasant hwy a thân.

## PEN. XXI.

*1 Wedi i'r Israeliaid dyngu na roddent hwy eu merched i'r Beniaminiaid, 10 hwynt a laddasant y Iabesiaid, ac a roddasant eu merched hwynt y rhai oeddynt weryfon i'r Beniaminiaid, 19 ac ai cynghorasant hwy i ddwyn rhai o ferched Silo.*

hIer. 4,1 A Gwŷr [h] Israel a dyngasant ym Mispah gan
2Sam.21, 2 ddywedyd, Ni ddyru neb o honom ni ei
Pen. 20,1 ferch i Beniaminiad yn wraig.

iPen. 20, 23 2 [i] A daeth y bobl i Bethel, ac a arhosasant yno hyd yr hwyr ger bron Duw: derchafasant hefyd eu llef, ac wylasant ag wylofain mawr.

jEsa. 63, 17 3 [j] A dywedasant, O Arglwydd Dduw Israel
Adn, 1 pa ham y bu y peth hyn yn Israel, fel y darfydde heddyw am un llwyth o Israel?

k 1 Bren. 8, 64 4 [k] A thrannoeth y bobl a foreu-godasant, ac
Ios.22,11 a adailadasant yno allor: ac a offrymmasant
Heb. 13, 10 boeth offrymmau, ac offrymmau hedd.
2Sam.24, 25 5 Yna meibion Israel a ddywedasant, Pwy [yw efe] (o holl lwythau Israel,) yr hwn ni ddaeth i fynu gyd a'r gynnulleidfa at yr Arglwydd? [l] canys llŵ mawr oedd yn ei erbyn ef yr hwn ni ddelse i fynu at yr Arglwydd i Mispah, gan ddywedyd, Llwyr rodder ef i farwolaeth.

6 A meibion Israel a edifarhasant o herwydd Beniamin eu brawd: a dywedasant torrwyd ymmaith heddyw un llwyth o Israel.

7 Beth a wnawn ni am wragedd iddynt hwy [sef] i'r rhai a adawyd, gan dyngu o honom ni i'r Arglwydd na roddem iddynt [yr un] o'n merched ni yn wragedd?

8 [m] Dywedasant hefyd, Pwy un o lwythau Israel a'r na ddaeth i fynu at yr Arglwydd i Mispah? ac wele ni ddelse neb o Iabes Gilead at y fyddin, [nac] at y gynnulleidfa.

9 Canys y bobl a gyfrifwyd: ac wele nid [oedd] yno neb o drigolion Iabes Gilead.

10 Am hynny y gynnulleidfa a anfonasant yno ddeuddeng-mil o wŷr grymmus, ac a orchymynnasant iddynt gan ddywedyd, Ewch, a tharewch bresswylwyr Iabes Gilead a min y cleddyf, y gwragedd hefyd a'r plant.

11 * Dymma [n] hefyd y peth yr hwn a wnewch chwi: difethwch bob gwryw, a phob gwraig a'r a orweddodd gyd a gŵr.

12 [o] A hwynt a gawsant ym mhlith trigolion Iabes Gilead bedwar cant o langcesau yn weryfon y rhai nid adnabuasent ŵr drwy gydorwedd a gŵr: a dugasant hwynt i'r gwersyll i Silo, yr hon [sydd] yng-wlâd Canaan.

13 [p] Yna'r holl gynnulleidfa a anfonasant, ac a lefarasant wrth feibion Beniamin y rhai [oeddynt] yng-hraig Rimmon: ac a gyhoeddasant heddwch iddynt hwy.

14 [q] A'r Beniaminiaid a ddychwelasant yr amser hwnnw, a hwynt a roddasant iddynt hwy y gwragedd y rhai a gadwasent yn fyw o wragedd Iabes Gilead: ond ni chawsant hwy ddigon felly.

15 A'r bobl a edifarhaodd dros Beniamin: o herwydd i'r Arglwydd wneuthur rhwygiad ym mysc llwythau Israel.

16 Yna henuriaid y gynnulleidfa a ddywedasant, Beth a wnawn ni am wragedd i'r lleill? canys destrywiwyd y gwragedd o Beniamin.

17 Dywedasant hefyd [Bydded] etifeddiaeth i'r hwn a ddiangodd o Beniamin, fel na ddeleu'r llwyth o Israel.

18 [r] Ac ni allwn ni roddi iddynt wragedd o'n merched ni: canys meibion Israel a dyngasant gan ddywedyd, Melldigedic [fyddo]'r hwn a roddo wraig i Beniaminiad.

19 [s] Am hynny y dywedasant, Wele [y mae] gŵyl i'r Arglwydd bob blwyddyn yn Silo, yr hwn [a gynheir] o du'r gogledd i Bethel, tua chyf-

odiad haul i'r brifforddy sydd yn myned i fynu
o Bethel i Sichem: ac o du'r dehau i Libanus.
20 Am hynny y gorchymynnasant hwy i
feibion Beniamin gan ddywedyd, Ewch, a chyn-
llwynwch yn y gwin-llannoedd,
Ex.15,20 Pen. 11 Sam.6, 21 [t] Edrychwch hefyd, ac wele os merched
Silo a ddeuant allan i ddawnsio mewn dawns-
iau, yna ewch chwithau allan o'r gwin-llan-
noedd, a chippiwch i chwi bob un ei wraig o
ferched Silo: ac ewch i wlâd Beniamin.
Col.3,12 22 [u] A phan ddelo eu tadau, neu eu brodyr
hwynt i achwyn attom ni, yna y dywedwn wrth-
ynt, Rhoddwch i ni hwynt, o blegit ni chym-
merasom ni bob un ei wraig yn y rhyfel: achos
na roddasoch chwi [hwynt] iddynt [ni] bydd-
wch chwi euog y pryd [hyn.]
23 [v] A meibion Beniamin a wnaethant felly, a vPen. 20
chymmerasant wragedd yn ol eu rhifedi eu hun 48
o'r rhai a gippiasent, ac a oeddynt yn dawnsio:
ac aethant ymmaith, a dychwelasant iw heti-
feddiaeth eu hun, ac adeiladasant hefyd ddinas-
oedd, a thrigasant ynddynt.
24 A meibion Israel a ymadawsant oddi yno
y pryd hynny, pob un at ei lwyth, ac at ei deulu
ei hun: aethant felly oddi yno bob un iw eti- wPen.17 6
feddiaeth. a 18, 1
25 [w] Yn y dyddiau hynny nid [oedd] brenin Ier.10,23 Deut.12, 8
yn Israel: pob un a wnae'r hyn oedd dda yn ei Diar 3,5
olwg. a 14, 12 Luc16,14

# LLYFR RUTH.

## PEN. I.

*1 Elimelech ai wraig ai ddau fab yn myned i wlâd Moab ac yn marw yno efe ai ddau fab. 19 Naomi ei wraig ef, a Ruth gwraig un o'r meibion yn dychwelyd i Beth lehem.*

ım.2, YN [a] y dyddiau yr ydoedd y brawd-wŷr
yn barnu, pan oedd newyn yn y wlâd:
t.28, yna'r aeth gŵr o Bethlehem Iuda i ymdeithio
19,6 1.12, yng-wlâd Moab, efe ai wraig, ai ddau fab.
2 [b] Ac enw y gŵr [oedd] Elimelech, ac enw
.12, ei wraig Naomi, ac enw ei ddau fab ef Mahlon,
a.35, a Chilon, Ephrateaid o Bethlehem Iuda: ac hwy
a ddaethant i wlâd Moab, ac a fuont yno.
1.34, 3 [c] Yna Elimelech gŵr Naomi a fu farw: hithe
17,8 a arhosodd, hi ai dau fab.
ut.7, 4 [d] A hwy a gymmerasant iddynt wragedd [o'r]
1,5 20,5 Moabiesau, enw y naill [oedd] Orpha, ac enw
y llall [oedd] Ruth: a thrigasant yno ynghylch
deng-mhlynedd.
it. 5 [e] A Mahlon, a Chilon a fuant feirw ill dau:
6 a'r wraig a drigodd [yn ymddifad] oi dau fab,
ac oi gŵr.
1,8 6 [f] Yna hi a gyfododd ai merched yng-hyfraith,
17,6 6,11 ac a ddychwelodd o wlâd Moab: canys clyw-
se hi yng-wlâd Moab, ddarfod i'r Arglwydd
18, ymweled ai bobl, gan roddi iddynt fara.
,14 7 [g] A hi a aeth o'r lle'r hwn yr oedd hi ynddo,
17, ai dwy waudd gyd a hi: a hwy a aethant i ffordd
1.2, gan ddychwelyd i wlâd Iuda.
4,8 8 [h] Yna Naomi a ddywedodd wrth ei dwy
0.1, waudd, Ewch, dychwelwch bob un i dŷ ei mam;
1,5, gwneled yr Arglwydd drugaredd a chwi, fel y
3,13 gwnaethoch a'r meirw, ac a minne.
.31 9 [i] Yr Arglwydd a ganiadhao i chwi gael
29, llonydd bob un yn nhŷ ei gŵr: pan gussanodd
hi hwynt, yna y derchafasant hwy eu llef, ac yr
ŵylasant.
10 [k] Ac a ddywedasant wrthi hi: Diau y dych- kSal.16,3
welwn ni gyd a thi at dy bobl di. a 119. 63
11 [l] A dywedodd Naomi, Dychwelwch fy l Adn. 8
merched, i ba beth y deuwch gyd a mi? a [oes] * Deut. 25. 5
gennifi feibion etto yn fyng-hrôth * i fod yn wŷr Mat. 22, 24
i chwi? Marc.12, 19
12 [m] Dychwelwch fy merched, ewch ym- Luc 20, 28
maith, canys ydwyf ry hen i briodi gŵr: pe dy- m 1 Tim.
wedwn y mae gennif obaith, a bod heno gyd a 5, 9
gŵr, ac ymddwyn meibion hefyd,
13 [n] A ddisgwyliech chwi am danynt hwy hyd nSal.39,9
oni chynnyddent hwy? a ymarhosech chwi am
danynt hwy heb ŵra? nage fy merched, canys
[y mae] mwy o dristwch i mi o'ch plegit chwi,
am i law'r Arglwydd fyned i'm herbyn.
14 [o] Yna y derchafasant eu llef, ac yr ŵylasant o2Tim.4,
eilwaith: ac Orpha a gussanodd ei chwegr, ond 10 Luc. 19,
Ruth a lynodd wrthi hi. 26
15 [p] A dywedodd [Naomi] Wele dy chwaer p 1Pedr3
yng hyfraith a ddychwelodd at ei phobl, ac at ei 10 Barn.11,
duwiau: dychwel dithe ar ol dy chwaer yng- 24 Ios.24,19
hyfraith. Luc24 28
16 [q] Ruth a ddywedodd, Nac erfynnia arnafi qMat 10,
ymado a thi, gan gilio oddi wrthit: canys pa le 37 a 1?, 23
bynnac yr elech di yr âf inne, ac ym mha le Act.21,13
bynnac y lletteuech di y lletteuaf inne, dy bobl
di [fydd] fy mhobl i, [r] a'th Dduw di, fy Nuw r1Thes.1
inne. 6, 9 2Cor.6,14
17 Lle y byddi di marw y byddaf inne farw,
ac yno i'm cleddir inne: fel hyn y gwnelo'r Ar-
glwydd i mi, ac fel hyn y chwanego efe, os [dim
onid] angeu a wna yscarieth rhyngofi, a thithe.

s Mat. 4, 11 Act. 21, 14 18 s Pan welodd hi ei bod hi wedi ymroddi i
fyned gyd a hi: yna hi a beidiodd a dywedyd
wrthi hi.
t 2 Tim. 4, 11 19 t Felly hwynt ill dwy a aethant, nes iddynt
Sal. 65 10 Galar. 2, 15 ddyfod i Bethlehem: yna'r holl ddinas a gyff
rodd oi herwydd hwynt, a dywedasant, Onid
hon [yw] Naomi?
20 A hi a ddywedodd wrthynt hwy, Na elwch
† Pryd-ferth fi † Naomi: gelwch fi ‡ Mara, canys yr Hollalluog
‡ Chwe-rw. a'm gwnaeth i yn u chwerw iawn.
u Heb. 12 11 21 v Myfi a euthum yn gyflawn, a'r Arglwydd
v Preg. 5, 10 a'm dûg i eilwaith yn wâg: pa ham y gelwch
Iob 10, 17 chwi fi Naomi? gan i'r Arglwydd fy narostwng,
ac i'r Holl-alluog fy nrygu.
w Sal. 91, 11 22 w Felly y dychwelodd Naomi, a Ruth (y
Lef. 28, 10 Moabies) ei gwaudd gyd a hi a ddychwelodd o
wlad Moab: a hwynt a ddaethant i Bethlehem
yn nechreu cynhaiaf yr heiddiau.

## PEN. II.

*1 Ruth yn lloffa ym maes Booz. 8 Ai garedigrwydd yntef iddi hi.*

x Pen. 3, 2 Diar. 7, 4 AC x i ŵr Naomi ['r ydoedd] cyfathrachwr,
o ŵr cadarn nerthol, o dylwyth Elimelech
ai enw Booz.
2 Yna Ruth y Moabies a ddywedodd wrth
Naomi, Mi a âf yn awr i'r maes, ac a gasclaf
dwysennau ar ôl yr hwn y caffwyf ffafor yn ei
olwg: hithe a ddywedodd wrthi hi, Dos fy merch.
y Lef. 19, 19 3 y Ac hi aeth, ac a ddaeth, ac a loffodd yn y
Deut. 24, 19 maes ar ol y medel-wŷr: a digwyddodd wrth
Eph. 4, 28 ddamwain [fod] y rhan honno o'r maes yn eiddo
Booz yr hwn [oedd] o dŷlwyth Elimelech.
z 1 Sam. 28, 26 4 z Ac wele Booz a ddaeth o Bethlehem, ac a
Est. 6 1, 2 ddywedodd wrth y medel-wyr, Yr Arglwydd
2 Bren. 8, 29 [a fyddo] gyd a chwi: hwythau a ddywedasant
Sal. 127, 2 wrtho ef, Yr Arglwydd a'th fendithio.
Luc 1, 28 a Gen. 24, 2 5 a Yna y dywedodd Booz wrth y llangc yr
hwn oedd yn sefyll yn ymyl y medel-wŷr: Pwy
pieu'r llangces hon?
b Pen. 1, 7 10 6 b A'r llangc yr hwn oedd yn sefyll wrth y
medel-wŷr a attebodd, ac a ddywedodd: Llangc-
es o Moab [ydyw] hi, yr hon a ddychwelodd
c Deut. 24, 19 gyd a Naomi o wlad Moab.
Rhuf. 12, 11 7 c A hi a ddywedodd, Attolwg yr ydwyf gael
Diar. 27, 23 lloffa, a chynnull dyrneidiau ar ol y medel-wŷr:
a 28, 19 ac hi a ddaeth, ac a arhosodd er y borau hyd yr
Preg. 8, 18 awr hon: oddieithr eistedd o honi hi ychydig yn
d 1 Sam. 3 6 tŷ.
2 Bren. 5, 12 8 d Yna y dywedodd Booz wrth Ruth, Oni
chlywi di fy merch? na ddos ymmaith i gasclu
e 1 Ioan. 8 13 i faes arall, e ac na thramwya ychwaith oddi
Phil. 4, 8 Lef. 19, 9 ymma: eithr aros ymma gyd a'm llangcesau
Deut. 24, 19 mau fi.
f Sal. 105, 15 9 f [Bydded] dy lygaid ar y maes yr hwn a
Iob 9, 12 fedant hwy, a dôs ar eu hol hwynt, oni orchym-
Mat. 10, 42 ynais i'r llangciau na chyffyrddent a thi? pan
Gen. 26, 18 sychedech, dos yna at y llestri, ac ŷf o honynt
yr hyn a ollyngo y llangciau.
10 g Yna hi a syrthiodd ar ei hwyneb, ac a ym- g 1 Sam. 25, 23
grymmodd i lawr: ac a ddywedodd wrtho ef, Pa Mat. 5, 3
ham y cefais ffafor yn dy olwg di, fel yr adwaen- Luc 1, 48
it fi, a minne yn alltudes?
11 h A Booz a attebodd, ac a ddywedodd wr- h Sal. 37, 6
thi hi, Gan fynegu y mynegwyd i mi'r hyn oll a Diar. 31,
wnaethost i'th chwegr ar ol marwolaeth dy ŵr: 31
fel y gadewaist dy dâd a'th fam, a gwlâd dy Sal. 45, 10
anedigaeth, ac y daethost at bobl y rhai nis ad-
waenit o'r blaen.
12 i Yr Arglwydd a dalo am dy waith: a by- i 2 Tim. 4, 8
dded dy obrwy yn berffaith gan Arglwydd Dduw Sal. ...
Israel yr hwn y daethost i obeithio tann ei adenydd.
13 j Yna hi a ddywedodd, Caffwyf ffafor yn dy j Esa. 40, 1
olwg di fy arglwydd, gan i ti fyng-hyssuro i, a 41
chan i ti lefaru wrth [fodd] calon dy wasanaeth-
ferch: er nad ydwyf fel un o'th law-forwynion di.
14 k A dywedodd Booz wrthi hi, Yn amser bw- k Diar. ...
yd tyret yma, a bwytta o'r bara, a throcha dy 27
dammed mewn finegr: a hi a eisteddodd wrth Luc ...
ystlys y medel-wŷr, ac efe a estynnodd iddi Diar. ... 25
gras ŷd, a hi a fwytaodd, ac a ddigonwyd, ac a Deut. ... 15
adawodd weddill.
15 l Yna hi a gyfododd i loffa: a gorchym- l 1 Tim. ... 10
ynnodd Booz iw weision gan ddywedyd, Lloffed Diar. ...
hefyd rhwng yr yscubau, ac na feiwch arni hi. 27
16 m A chan ollwng gollyngwch hefyd iddi m Sal. ... 9
o'r yscubau: a gadewch [hwynt] fel y casclo hi,
ac na cheryddwch hi.
17 Felly hi a loffodd yn y maes hyd yr hwyr:
a hi a ddyrnodd yr hyn a gasclase hi, ac yr oedd
yng-hylch epha o haidd.
18 n A hi ai cymmerth, ac a aeth i'r ddinas, ai n ...
chwegr a ganfu'r hyn a gasclase hi: hefyd hi a Diar. ...
dynnodd allan, ac a roddodd iddi'r hyn a 24
weddillase hi wedi cael digon.
19 Yna y dywedodd ei chwegr wrthi hi, Pa
le y lloffaist heddyw, a pha le y gweithiaist?
bydded yr hwn a'th adnabu yn fendigedic: a hi
a yspysodd iw chwegr yr hwn y gweithiase hi
gyd ag ef, ac a ddywedodd, Enw'r gwr yr hwn
y gweithiais gyd ag ef heddyw [yw] Booz.
20 o Yna y dywedodd Naomi wrth ei gwaudd, o 2 Tim. ...
Bendigedic [fyddo] efe gan yr Arglwydd yr hwn 16 Ioh. ...
ni phaid [a dangos] ei drugaredd tua'r rhai byw Diar. ...
a'r rhai meirw: dywedodd Naomi hefyd wrthi 17 Luc ...
hi, Agos i ni [yw]'r gŵr hwnnw, o'n cyfath- Deut. ...
rach ni [y mae] efe. 5, 7
21 p A Ruth y Moabies a ddywedodd, Efe a p 1 Tim. ...
ddywedodd hefyd yn ddiau wrthif, Gyd a'r q Tit. ...
llangciau y rhai [ydynt] gennif yr arhosi nes gor- Diar. ... 3,
phen yr holl gynhaiaf yr hwn [sydd] i mi. Sal. ...
22 q A dywedodd Naomi wrth Ruth ei gwaudd: Gen. ... Diar. ...
Da [yw] fy merch i ti fyned gyd ai llangcesi ef, r 1 Tim. ...
fel na ruthrant i'th erbyn mewn maes arall. 13 Diar. ...
23 r Felly hi a ddilynodd langcesau Booz i ...

loffa nes darfod cynhaiaf yr haidd, a chynhaiaf
y gwenith: ond hi a drigodd gyd ai chwegr.

## PEN. III.

*Cyngor Naomi i Ruth yng-hylch Booz.*

Cor.7, YNA [s] Naomi ei chwegr hi a ddywedodd
en 9,1 wrthi hi, Fy merch oni cheisiafi lonydd-
wch i ti'r hwn fyddo da i ti?
Diar. 18 2 [t] Ac yn awr ein cyfathrach-wr ni [yw] Booz
Bren. 4, yr hwn y bûosti gyd ai langcesi? wele efe yn
eut.25, 6 nithio yn llawr dyrnu'r haidd y nos hon.
en. 2,8 Sam.24, 3 [u] Ymolch gan hynny, ac * ymîra, a gosot dy
ddillad am danat, a dos i wared i'r llawr dyrnu:
2 Sam. 2 na fydd gydnabyddus i'r gŵr nes iddo orphen
im 2.9 bwytta, ac yfed.
al.104, 4 [v] A phan gysco efe, yna gwybydd y fan yr
at 6.17 al 104, hon y gorweddo efe ynddi, yna dôs, a dinoetha
hes 5, ei draed ef, a gorwedd: ac efe a fynega i ti'r hyn
a wnelech.
ar. 15, 5 [w] A hi a ddywedodd wrthi, Gwnaf yr hyn
ph. 6, oll a erchaist i mi.
or. 10, 6 Felly hi a aeth i wared i'r llawr dyrnu, ac a
wnaeth yn ol yr hyn oll a orchymynnase ei
chwegr iddi.
7 Pan fwytaodd Booz, a [phan] yfodd fel y
llawenhaodd ei galon, yna efe a aeth i gyscu i
gwrr yr yscafn, hithe a ddaeth yn ddistaw, ac a
ddinoethodd ei droed ef, ac a orweddodd.
8 Ac yng-hanol y nôs y gŵr a ddychlammodd,
ac a ymdrôdd, ac wele wraig yn gorwedd wrth
ei draed ef.
Sam. 9 [x] Yna efe a ddywedodd, Pwy [ydwyt] ti? a
41 n.2,12 hi a ddywedodd, Myfi [yw] Ruth dy lawforwyn
ec. 16, di, lleda gan hynny dy aden tros dy lawforwyn,
n 2,20 canys fyng-hyfathrachwr i [ydwyt] ti.
Cor.13 10 [y] Ac efe a ddywedodd, Bendigedic [fyddech]
n. 1,8 fy merch gan yr Arglwydd, gwnaethost yn well
im. 5, dy drugaredd ddiwethaf na'r gyntaf, gan nad
2,12 aethost ar ol gwŷr ieuaingc, na thlawd na
chyfoethog.
iar.12 11 [z] Ac yn awr fy merch nac ofna, yr hyn oll
a ddywedaist a wnaf it, canys holl ddinas fy
31, 31 mhobl a ŵyr mai gwraig rinweddol [ydwyt] ti.
ent. 5 12 [a] Ac yn awr gwir yw fy mod i yn gyfath-
es.4, rach-wr, etto er hynny y mae cyfathrach-wr nês
na mi.
l.119, 13 [b] Aros heno, a'r boreu os efe a ymgyfath-
1 2,20 racha a thi da yw, ymgyfathrached, ond os efe
t.7,12 24,15 ni fyn ymgyfathrachu a thi, yna myfi a ymgyfath-
l.4,8 rachaf a thi [fel] mai byw'r Arglwydd; cwsc hyd
reg.7, y boreu.
14 [c] A hi a orweddodd wrth ei draed ef hyd y
t. 12, boreu, a hi a gyfododd cyn yr adwaene neb ei
r. 10, gilydd; canys efe a ddywedodd, Na chaffer gwy-
r.8.21 edr 2, bod ddyfod y wraig i'r yscubor.
15 [d] Ac efe a ddywedodd, Moes dy fantell yr
oan3, hon [sydd] am danat, ac ymafl ynddi, a hi a ym-
1.6,10 aflodd ynddi; ac efe a fesurodd chwech [mesur]
o haidd, ac ai gosododd arni, a hi a aeth i'r
ddinas.
16 Pan ddaeth hi at ei chwegr, hi a ddywed-
odd, Pwy [ydwyt] ti fy merch? a hi a fynegodd
iddi'r hyn oll a wnaethe y gŵr iddi hi.
17 A hi a ddywedodd, Y chwech [mesur] hyn
o haidd a roddodd efe i mi; canys dywedodd
wrthif, Ni ddeui yn wag at dy chwegr.
18 [e] Yna y dywedodd hithe, aros fy merch oni e Esa. 28, 16
ŵypech pa fodd y digwyddo y peth [hyn,] canys Sal. 37,5,
ni orphwys y gŵr nes gorphen y peth hyn 5
heddyw.

## PEN. IV.

*Booz yn priodi Ruth. 13 Hithe yn beichiogi ar Obed.*
*18 Achau Dafydd o dad i dad.*

YNA [f] Booz a aeth i fynu i'r porth, ac a eis- f Diar 31. 23
teddodd yno, ac wele y cyfathrachwr yn Pen.3,12
myned heibio [am] yr hwn y dywedase Booz, ac * 2 Sam. 21,3
efe a ddywedodd, * Ho hwn a hwn, tyret yn nes, 2 Bren. 6, 8
eistedd yma; ac efe a nesaodd ac a eisteddodd. g 1 Bren. 21, 8
2 [g] Yna efe a gymmerth ddeng-wr o henuriaid Ex 18,21
y ddinas, ac a ddywedodd, Eisteddwch ymma; Diar. 20, 8
a hwynt a eisteddasant.
3 [h] Ac efe a ddywedodd wrth y cyfathrachwr, h Diar.13 16
Rhan o'r maes yr hon [oedd] eiddo ein brawd a 14, 8
Elimelech a werth Naomi yr hon a ddychwel- Sal.112,5.
odd o wlad Moab.
4 [i] Am hynny y dywedais y mynegwn it, gan i Diar.14. 2 a 21, 3
ddywedyd, Pryn ger bron y trigolion a cher bron Rhuf.12, 17
henuriaid fy mhobl, os rhyddhei rhyddhâ [ef] Phil. 4,8
ac oni ryddhei di mynega i mi, fel y gwypwyf: Lef. 25, 25
canys nid oes ond ti iw ryddhau, a minne [sydd]
ar dy ol di: ac efe a ddywedodd, Myfi ai rhydd-
haf.
5 [j] Yna y dywedodd Booz, Y diwrnod y pry- j Deut.26 5
nech di 'r maes o law Naomi, ti ai pryni hefyd Sal. 102 13
gan Ruth y Moabites gwraig y marw, i gyfodi
enw yr marw ar ei etifeddiaeth ef.
6 [k] A'r cyfathrachwr a ddywedodd, Ni allaf k Gen.38 8
[ei] ryddhau i mi rhac colli fy etifeddiaeth: Diar. 27 23
rhyddha di it dy hun fy rhan i, canys ni allafi
[ei] ryddhau.
7 [l] (A hyn [oedd ddefod] gynt yn Israel, am l Deut.25 7
ryddhâd, ac am gyfnewid i sicrhau pob peth,
gŵr a ddiosce ei escid, ac ai rhodde iw gymy-
dog: a hyn [oedd] destiolaeth yn Israel.)
8 [m] Am hynny y dywedodd y cyfathrachwr wrth m Pen.3. 18
Booz, Pryn it dy hun: ac efe a ddioscodd ei escid. Ier. 32.6
9 [n] A dywedodd Booz wrth yr henuriad, ac n Mat. 10, 16
wrth yr holl bobl, Tystion [ydych] chwi heddyw
i mi brynu'r hyn oll [oedd] eiddo Elimelech, a'r
hyn oll [oedd] eiddo Chilon, a Mahlon o law
Naomi.
10 [o] Ruth hefyd y Moabites gwraig Mahlon a o Hos 12, 12
brynais im yn wraig i gyfodi enw y marw ar ei Ier.22,23
etifeddiaeth ef, fel na thorrer ymaith enw y marw Sal.1[illegible].
oddi wrth ei frodyr, nac oddi wrth borth ei fan-

gre ef: tystion [ydych] chwi heddyw.
pGen.26, 2 11 [p] A'r holl bobl y rhai [oeddynt] yn y porth
Sal.127,1 a'r henuriaid a ddywedasant, [Yrydym] yn dyst-
ion; yr Arglwydd a roddo y wraig yr hon sydd
yn dyfod i'th dŷ di, fel Rahel, ac fel Lea, y rhai
a adailadasant ill dwy dŷ Israel, fel y gwnelech
di rymmustra yn Ephrata, ac y gosodech enw
yn Bethlehem.
*Gen.38, 29 12 Bydded hefyd dy dŷ di, fel tŷ Pharez (*yr
1 Tim. 1, 15 hwn a ymddug Thamar i Iuda;) o'r hâd yr hwn
a ddyru'r Arglwydd it o'r llangces hon.
q Pen. 3, 11 13 [q] Felly Booz a gymmerodd Ruth, a hi a fu
Salm15,4 iddo ef yn wraig, ac efe a aeth i mewn atti hi;
Gen.33,5 a'r Arglwydd a roddodd iddi hi feichiogi, a hi
a ymddug fab.
rLuc1,58 14 [r] A'r gwragedd a ddywedasant wrth Nao-
Rhuf. 12, 15 mi, Bendigedic [fyddo] yr Arglwydd yr hwn ni
sGen.45, 11 rwystrodd it gyfathrach-wr heddyw; fel y gelw-
Sal.55,22 id ei enw ef yn Israel.
1Sam.1,8 15 [s] Ac efe fydd it yn adnewyddu [dy] einioes,
ac i ymgeleddu dy ben-wyndod; canys dy
waudd yr hon a'th gâr di a blantodd iddo ef, a
hon [sydd] well i ti na saith o feibion.
16 [t] A Naomi a gymmerth y plentyn, ac ai
gosododd ef yn ei monwes, ac a fu yn fammaeth
iddo.
17 [u] A'r cymydogesau a roddasant iddo enw,
gan ddywedyd, Ganwyd mab i Naomi: ac a al-
wasant ei enw ef Obed, hwn [oedd] tad Isai dad
Dafydd.
18 [v] Dymma genhedlaethau Pharez, Pharez a
genhedlodd Hezron.
19 A Hezron a genhedlodd Ram, a Ram a
genhedlodd Aminadab.
20 Ac Aminadab a genhedlodd Naasson, a
Naasson a genhedlodd Salmah.
21 A Salmon a genhedlodd Booz, a Booz a
genhedlodd Obed.
22 [w] Ac Obed a genhedlodd Isai, ac Isai a gen-
hedlodd Ddafydd.

---

# LLYFR CYNTAF I
# SAMUEL.

## PEN. I.

*Hanes Elcana ai wragedd. 10 Gweddi Hannah ai hadduned i Dduw. 15 Ai hatteb hefyd i Eli. 20 Ganedigaeth Samuel. 24 Ai gyssegriad i'r Arglwydd.*

aPen.9,5 Num 22, 14 AC [a] yr oedd rhyw Ephrate-wr o Ramathaim
Barn 12, 5 Zophim o fynydd Ephraim, ai enw Elcana
mab Ieroham, fab Elihu, fab Thohu, fab Zuph.
1Cron.6, 27 2 [b] A dwy wragedd [oeddynt] iddo ef, enw y
b Gen. 4, 23 naill [oedd] Hannah, ac enw y llall Peninnah:
2Cron 24 3 ac i Peninnah yr ydoedd plant, ond i Hannah
Barn 19, 2 nid [oedd] plant.
Adn.5. 3 [c] *A'r gwr hwnnw a aei i fynu oi ddinas bob
Barn. 13, 2 blwyddyn i addoli, ac i aberthu i Arglwydd y
cIos. 18,2 lluoedd yn Siloh: ac yno dau fab Eli [sef] Hoph-
*Deut16, 16 ni a Phinees [oeddynt] offeiriaid i'r Arglwydd.
dLef.3,4, 5 4 [d] Bu hefyd y diwrnod yr aberthodd Elcana
Deut. 12, 12 roddi o honaw ef i Peninnah ei wraig, ac iw mei-
Deut 16, 11 bion, ai merched oll rannau.
eLef 7,19 5 [e] Ac i Hannah y rhoddes efe un rhan wyneb-
Gen 29, 30 ol, canys efe a gare Hannah, er i'r Arglwydd gaeu
a 16, 2 ei bru hi.
a 20, 18 a 30, 2 6 [f] Ai gwrthwyneb-wraig ai cythruddodd hi a
f Lef 18, 18 digter, fel y cyffroawdd hi: am i'r Arglwydd gaeu
Iob 1, 11 ei brû hi.
a 6, 14 g Adn 4 7 [g] (Ac felly y gwnaeth efe bob blwyddyn)
Eze 15,15 pan escynne hithe i dŷ yr Arglwydd hi ai cyth-
ruddai hi felly, fel yr ŵyle, ac na fwyttae.
h 1 Thes 5, 14 8 [h] Yna Elcana ei gŵr a ddywedodd wrthi,
Hannah pa ham yr ŵyli di? a pha ham na fwyt-
tei? a pha beth a flina dy galon? onid wyf fi well
i ti na dêc o feibion?
9 [i] Yna Hannah a gyfododd wedi iddi fwytta,
ac yfed yn Silo: ac Eli yr offeiriad oedd yn
eistedd ar faingc, wrth bost teml yr Arglwydd.
10 A hi yn athrist a weddiodd hefyd ar yr
Arglwydd, a chan ŵylo a ŵylodd.
11 [j] Hefyd hi a addunodd adduned, ac a ddy
wedodd, O Arglwydd y lluoedd, os gan edrych
yr edrychi ar gystudd dy law-forwyn, ac a'm co-
ffei fi, ac nid anghofi dy law-forwyn, onid rho-
ddi i'th law forwyn fab; yna y rhoddaf ef i'r Ar-
glwydd holl ddyddiau ei einioes, ac nid aiff
ellyn ar ei ben ef.
12 A bu fel yr oedd hi yn gweddio llawer ger
bron yr Arglwydd, i Eli i ddal sulw ar ei
genau hi.
13 [k] Canys Hannah oedd yn llefaru wrthi ei hun,
yn unic ei gwefusau a symmudent, ai llais ni
chlywid: ac Eli a dybiodd ei [bod] hi yn feddw
14 Yna Eli a ddywedodd wrthi hi, Pa hyd
y byddi feddw? bwrw ymmaith dy wîn oddi
wrthit.
15 [l] A Hannah a attebodd, ac a ddywedodd,
Nid [felly] fy arglwydd, gwraig galed arni [yd-
wyf] fi, gwin hefyd na diod gadarn nid yfais, e-
thr *tywelltais fy meddwl ger bron yr Arglwydd.

n Deut. 16 m Na chyfrif dy-law-forwyn yn ferch y fall:
5,13 canys o amldra fy myfyrdod, a'm llid, y llef-
erais hyd yn hyn.
2Bren.5 17 n Yna yr attebodd Eli, ac a ddywedodd,
s.22,35 Dos mewn heddwch: a Duw yr Israel a roddo
dy ddymuniad yr hwn a ddymunaist ganddo ef.
reg.9, 18 o A hi a ddywedodd, Caffed dy law-forwyn
uf.15, ffafor yn dy olwg: felly yr aeth y wraig iw
thaith, ac a fwyttaodd, ac ni bu mor athrist
mwy.
en.24 19 p Yna y cyfodasant yn foreu, ac a addolasant
n.4,1 ger bron yr Arglwydd, ac a ddychwelasant, ac
a ddaethant iw tŷ [i] Ramah: yna Elcana a ad-
nabu Hannah ei wraig, a'r Arglwydd ai cof-
iodd hi.
20 A bu o fewn cylchoedd dyddiau feichiogi
o Hannah, ac escor ar fab, a hi a alwodd ei enw
f, yr ef† Samuel: canys gan yr Arglwydd y dymunais
wyd ef [eb y hi.]
21 Yna yr aeth Elcana y gŵr i fynu, ai holl
dy-lwyth i aberthu i'r Arglwydd aberth blyn-
yddawl, ai adduned.
.23, 22 q Ond Hannah nid aeth i fynu, canys hi a
n 11 ddywedodd wrth ei gŵr [Ni ddeuafi] hyd oni
1,6 ddiddyfnir y bachgen: yna y dygaf ef, fel y dang-
osir ef o flaen yr Arglwydd, ac y trigo yno byth.
a.7, 23 r Yna Elcana ei gŵr hi a ddywedodd
21,7 wrthi hi, Gwna yr hyn a welech yn dda, aros
13, *hyd oni* ddiddyfnech ef: yn unic yr Arglwydd
80 a *gyflawno* ei air; felly yr arhodd y wraig, ac a
9 fagodd ei mâb nes iddi ei ddiddyfnu ef.
24 24 s A phan ddiddyfnodd hi ef, hi ai dûg ef i
16, fynu gyd a hi, a thri o fustych, ac * un Epha o
3, beillied, a chostreled o wîn, a hi ai dûg ef i
16, mewn i dŷ yr Arglwydd yn Silo, a'r bachgen
yn ieuangc.
25 Yna y lladdasant fustach, ac a ddugasant
y bachgen at Eli.
7 26 t A hi a ddywedodd, [Ystyr] wrthif fy ar-
glwydd [fel] y mae dy enaid yn fyw fy arglwydd,
myfi yw yr wraig yr hon oedd yn sefyll ymma
gyd a thi, gan weddio ar yr Arglwydd.
27 Am y bachgen hwn y gweddiais, a'r Ar-
*glwydd a rod*dodd i mi fy nymuniad yr hwn a
ddymunais ganddo ef.
28 Minne hefyd ai rhoddais ef i'r Arglwydd,
yr holl ddyddiau y rhai y byddo efe [byw] y
rhoddwyd ef i'r Arglwydd: ac efe a ymgrym-
modd yno i'r Arglwydd.

## PEN. II.

*1 Cân Hannah. 12 Beiau meibion Eli, Samuel yn gwasanaethu o flaen yr Arglwydd. 20 Eli yn bendithio Elcana, a Hannah. 23 Eli yn ceryddu ei feibion yn rhy dyner. 27 Prophwyd yr Arglwydd yn bygwth dialedd ar Eli, am na lywodraethe ei feibion yn well.*

YNA u Hannah a weddiodd, ac a ddywed-
odd, Llawenychodd fyng-halon yn yr Ar-
glwydd, fyng-horn a dderchafwyd yn yr Ar-
glwydd: fyng-enau a ehangwyd ar fyng-elynion:
canys llawenychais yn dy iechydwriaeth di.
2 v Nid sanctaidd [neb] fel yr Arglwydd, can- v Ex. 15
ys nid dim hebot ti: ac nid [oes] graig megis 11 Sal.73,25
ein Duw ni.
3 Na chwanegwch lefaru yn uchel uchel, [na]
ddeued allan [un gair] balch o'ch genau: canys
Duw gwybodaeth [yw] yr Arglwydd, ai am-
cannion ef a gyflawnir.
4 w Bwa y cedyrn a dorrwyd, a'r gweiniaid a w Barn.4
ymwregysasant a nerth. 15 Sal.76,3
5 x [Y rhai] digonol a ymgyflogasant er bara, Heb, 11, 34
a'r rhai newynoc a beidiasant hyd onid escorodd x Luc 1,
yr amhlantadwy ar saith, a llescau yr aml [ei] 53 Iago 5.6
meibion. Ruth4,11
6 * Yr y Arglwydd sydd yn marwhau, ac yn *Deut.32
bywhau, efe sydd yn dwyn i wared i'r bedd, ac 39 y Ezec.38
efe a ddwg i fynu. 11
7 z Yr Arglwydd sydd yn tlodi, ac yn cyfoeth- Iob. 13, 2
ogi, yn darostwng, ac yn derchafu. Sal. 130, 2
8 * Efe a sydd yn cyfodi y rhaidus o'r llŵch, o'r Iona 2, 3 Act. 12,6
domm y derchafa efe y tlawd, iw gosod gyd a z Iob 1,21
thywysogion, efe a bair iddynt etifeddu teyrn- *Sal. 113, 7
gader gogoniant: canys eiddo yr Arglwydd a Iob 36, 11
golofnau y ddaiar, ac efe a osododd y bŷd arnynt. Sal. 102, 25
9 b Traed ei sainct a geidw efe, a'r anuwiolion a Iob 38, 5
ddistawent mewn tywyllwch: canys nid trwy b Sal.121, 5, 8
[ei] nerth [ei hun] y gorchfyga gŵr. Barn. 1,7
10 c Y * rhai a ymrysonant a'r Arglwydd a Pen. 17, 49
ddryllir, efe a darâna yn eu herbyn hwynt o'r c Sal. 2, 9 Mat. 28,
nefoedd: yr Arglwydd a farn derfynau y ddaiar, 18 Sal. 2, 2
ac a ddyru nerth iw frenin, ac a dderchafa gorn * Pen. 7,
ei eneiniog. 10
11 Yna yr aeth Elcana i Ramah iw dŷ, a'r
llangc a fu weinidog i'r Arglwydd ger bron Eli
yr offeiriad.
12 d Ond meibion Eli [oeddynt] feibion y fall: d Deut,
nid adwaenent hwy mo'r Arglwydd. 13, 13 Tit 1, 16
13 e A defod yr offeiriad gyd â'r bobl [oedd Rhuf. 1,
hyn:] pob gŵr a'r a offrymme offrwm, yna bach- 28 e Rhuf.1
gen yr offeiriad a ddeue pan fydde y cig yn ber- 30
wi, a chig-wain dri daint yn ei law,
14 f Ac ai tarawe [hi] yn y badell, neu yn yr f Ex. 29,
efydden, neu yn y crochan, neu yn y pair, yr 27 Esa. 56,
hyn oll a gyfode y gigwain a gymmere yr offeir- 11
iad iddo: felly y gwnaent yn Silo i holl Israel y
rhai oeddynt yn dyfod yno.
15 g Ië, cyn arogl-losci o honynt y brasder, y g Lef.3,3,
deue bachgen yr offeiriad hefyd, ac a ddywede 4
wrth y gŵr a fydde yn aberthu, Dyro gîg iw *Sal.42,5
rostio i'r offeiriad, canys ni chymmer efe gennit
gîg berw, onid amrwd.
16 Os y gŵr a ddywede wrtho, Gan losci
lloscant yn awr y brasder, yna cymmer it, fel yr
ewyllysio dy galon: yntef a ddywede wrtho, Er
hynny yn awr y rhoddi, ac onid ê, mi ai cym-
meraf drwy gryfder.

h Gen. 10, 8 — 17 [h] A phechod y llangciau oedd fawr iawn
Mal. 2, 8 — ger bron yr Arglwydd: canys ffieiddiodd y dyn-
ion fwyd offrwm yr Arglwydd.
i 2 Sam. 6, 14 — 18 [i] A Samuel oedd yn gweini o flaen yr Arg-
* Ex. 28, 4 — lwydd yn langc wedi ei ymwregysu ag * ephod
liain.
j Pen. 1, 3 — 19 [j] Ai fam a wnaeth iddo fantell fechan, ac ai
dûg iddo o flwyddyn i flwyddyn, pan ddele hi
i fynu gyd ai gŵr i aberthu yr aberth blynydd-
awl.
k Gen. 14, 19 — 20 [k] Yna Eli a fendithiodd Elcana, ai wraig,
ac a ddywedodd, Gosoded yr Arglwydd i ti hâd
o'r wraig hon: am y dymuniad yr hwn a ddym-
unodd gan yr Arglwydd: felly yr aethant hwy iw
mangre eu hun.
l Gen. 21, 1 — 21 [l] A'r Arglwydd a ymwelodd a Hannah, a
Eph. 3, 20 — hi a feichiogodd, ac a escorodd ar dri o feibion,
Luc 1, 80, a 2, 40 — a dwy o ferched: a'r llangc Samuel a gynnydd-
odd o flaen yr Arglwydd.
22 Ac Eli [ydoedd] hên iawn, ac efe a glybu
yr hyn oll a wnelse ei feibion ef i holl Israel, a'r
modd y gorweddasant gyd a'r gwragedd y rhai
oeddynt yn ymgasclu [wrth] ddrws pabell y
cyfarfod.
m Esa. 3, 9 — 23 [m] Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Pa
ham y gwnaethoch yn ol y geiriau hyn? canys
clywaf gan yr holl bobl hyn ddryg-air i chwi.
n 1 Tim. 3, 7 — 24 [n] Na [wnewch felly] fy meibion, canys nid dâ
y gair yr hwn yr ydwyfi yn ei glywed, [sef] eich
bod chwi yn traws-arwain pobl yr Arglwydd.
o Num. 15, 30 — 25 [o] Os gŵr a becha yn erbyn gŵr, y swyddog-
Pen. 3, 14 — ion ai barnant ef: ond os yn erbyn yr Arglwydd
2 Cron. 25, 16 — y pecha gŵr, pwy a eiriol trosto ef? ond ni wran-
Diar. 15, 10 — dawsant ar lais eu tad: am y mynne yr Arglwydd
eu lladd hwynt.
p Diar. 3, 4 — 26 [p] A'r llangc Samuel a aeth yn fawr, ac yn
Luc 2, 52 — dda gan Dduw, a dynion hefyd.
Act. 2, 47 — 27 [q] Yna y daeth gŵr i Dduw at Eli, ac a ddy-
q Barn. 13, 6 — wedodd wrtho ef, Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
2 Pedr 1, 21 — onid gan ymddangos yr ymddangosais i dŷ dy
1 Tim. 6, 11 — dad, pan oeddynt yn yr Aipht tann dylwyth
Ex. 6, 23 — Pharao?
r Num. 14, 7 — 28 [r] Gan ei ddewis ef hefyd o holl lwythau
2 Sam. 12, 7 — Israel yn offeiriad i mi i offrymmu ar fy allor, i
* Lef. 7, 34 — losci arogl-darth, i wisco ephod ger fy mron: *
a 10, 14 — rhoddais hefyd i dŷ dy dad ti holl ebyrth tanllyd
meibion Israel.
s Deut. 32, 15 — 29 [s] Pa ham y sethrwch chwi fy aberth a'm
Sal. 132, 13 — bwyd offrwm, y rhai a orchymynnais [i'm] teml,
Lef. 19, 15 — ac yr anrhydeddaist dy feibion yn fwy na myfi,
gan eich pescu eich hunain o flaen-ffrwyth holl
fwyd offrwm fy-mhobl Israel?
t Ex. 28, 23 — 30 [t] Am hynny medd Arglwydd Duw Israel,
2 Cron. 15, 2 — Gan ddywedyd y dywedais: Dy dŷ di, a thŷ dy
1 Cor. 10, 31 — dad a rodiant o'm blaen i byth: eithr yn awr,
Sal. 91, 14 — medd yr Arglwydd, Pell fydd hynny oddi wrth-
ifi, canys fy anrhydedd-wŷr, a anrhydeddaf, a'm
dirmyg-wŷr a ddirmygir.
31 [u] Wele y dyddiau yn dyfod pan dorrwyf dy — u Iob 4, 9; Sal. 37, 17
fraich di, a braich tŷ dy dad ti, fel na byddo
henuriad yn dy dŷ di.
32 [v] A thi a gei weled [dy] elyn yn nheml [yr — v Pen. 4, 11
Arglwydd] yn lle yr hyn oll a wnaeth efe o
ddaioni i Israel: ac ni bydd henuriad yn dy dŷ
di byth.
33 [w] Ond ni thorraf ymmaith bawb o'th eiddo — w Pen. 4, 11
di oddiwrth fy allor, i beri i'th lygad ballu, ac i
beri i'th galon ofidio: a holl liaws dy dŷ di a
fyddant feirw yn wŷr.
34 [x] A hyn [fydd] i ti yn arwydd, yr hwn a — x 1 Bren. 13, 3
ddaw i'th ddau fab, i Hophni a Phinees: yn yr — Pen. 4, 11
un dydd y byddant feirw ill dau.
35 [y] A chyfodaf i mi offeiriad ffyddlon a wnaiff — y Heb. 2, 17; Act. 5, 31
fel [yr ewyllysiwyf] yn fyng-halon, a'm meddwl: — 1 Cron. 29, 22
a mi a adailadaf iddo ef dŷ siccr, ac efe a rodia — 1 Bren. 2, 24
ger bron fy eneiniog yn dragywydd. — Esa. 22, 23
36 [z] A bydd i'r rhai oll a adewir yn dy dŷ di — Sal. 2, 2 a 110, 4
ddyfod i ymgrymmu iddo ef am ddernyn o arian — z 1 Bren. 2, 27
a thippin o fara: a [phob un] a ddywed, Gosot
fi yn awr mewn rhyw offeiriadaeth i [gael] bwyt-
ta tammed o fara.

## PEN. III.

*Mor amheuthun oedd prophwydoliaeth yn amser Eli. 4 Duw yn dangos i Samuel ddinystr tŷ Eli. 18 A Samuel yn mynegu hynny i Eli.*

A'R [a] bachgen Samuel a wasanaethodd yr — a Pen. 2, 11
Arglwydd ger bron Eli; a gair yr Arglw- — Sal. 74, 9
ydd oedd werthfawr yn y dyddiau hynny, nid — Amos 8, 11
[oedd ychwaith] weledigaeth eglur. — Barn. 13, 15
2 [b] A'r pryd hynny (pan oedd Eli yn gorwedd — b Pen. 4, 15
yn ei fangre, wedi iw lygaid ef ddechreu tywy- — Gen. 27, 1
llu, [fel] na alle efe weled,
3 [c] A chyn i oleuni Duw ddiffoddi, a Samuel — c Ex. 27, 21
yn cysgu yn nheml yr Arglwydd yr hon [yr — Lef. 24, 3; 2 Cron. 13, 11
oedd] Arch Duw ynddi,)
4 [d] Yna y galwodd yr Arglwydd ar Samuel: — d Esa. 6, 8; Heb. 5, 4
dywedodd yntef, Wele fi. — 1 Cor. 12, 28; Gal. 1, 15
5 A rhedodd at Eli, a dywedodd, Wele fi, ca-
nys gelwaist arnaf: yntef a ddywedodd, Ni elw-
ais i, dychwel [a] gorwedd: ac efe a aeth ac a
orweddodd.
6 A'r Arglwydd a alwodd eilwaith ar Samuel:
a Samuel a gyfododd, ac a aeth at Eli, a dywe-
dodd, Wele fi, canys gelwaist arnaf: yntef a ddy-
wedodd, Na elwais fy mab, dychwel [a] gorwedd.
7 Ac nid adwaene Samuel etto yr Arglwydd,
ac nid eglurasid iddo ef air yr Arglwydd etto.
8 A'r Arglwydd a alwodd Samuel trachefn y
drydedd waith, ac efe a gyfododd, ac a aeth at
Eli, ac a ddywedodd, Wele fi, canys gelwaist
arnaf: yna y deallodd Eli mai yr Arglwydd a
alwase ar y bachgen.
9 [e] Am hynny Eli a ddywedodd wrth Samuel, — e Act. 9, 6
Dos a gorwedd, ac os geilw efe arnat, yna dyw-

et, Llefara Arglwydd, canys dy wâs sy yn clywed: felly Samuel a aeth ac a orweddodd yn ei le.
10 Yna y daeth yr Arglwydd, ac a safodd, ac a
alwodd megis o'r blaen Samuel, Samuel: a dywedodd Samuel, Llefara, canys mae dy wâs yn clywed.
Pen.4,2 mos 3,6 11 f A dywedodd yr Arglwydd wrth Samuel,
Bren.21 Wele fi yn gwneuthur peth yn Israel, yr hwn pwy
al. 117, bynnac ai clywo fe a ferwina ei ddwy glust efe.
r 19,8 12 g Yn y dydd hwnnw y cyfodaf yn erbyn
Pen 2, Eli yr hyn oll a ddywedais am ei dŷ ef, gan
ec.1,6 ddechrau a diweddu [ar unwaith].
nc21,30 Pen.2, 13 h Mynegais hefyd iddo ef y barnwn i ei dŷ
ron.20 ef yn dragywydd, am yr anwiredd yr hwn a ŵyr
el 3,12 efe, o herwydd iw feibion hauddu iddynt fell-
Bren.2, dith, ac nas gwaharddodd efe iddynt hwy.
at.2,3 14 i Ac am hynny y tyngais wrth dŷ Eli [Nid
Pen. 2, byw fi] os gwneir iawn am anwiredd tŷ Eli ag
15,1 aberth, nac a bwyd-offrwm byth.
Dan.4, 15 *Yna y cyscodd Samuel hyd y boreu, ac efe
a agorodd ddrysau tŷ yr Arglwydd: ond Samuel
oedd yn ofni mynegu y weledigaeth i Eli.
16 Ac Eli a alwodd ar Samuel, ac a ddywedodd, Samuel fy mab; yntef a ddywedodd, Wele fi.
17 Yna y dywedodd efe, Beth [yw] yr gair yr
hwn a lefarodd efe wrthit? na chela attolwg
ith 1, oddi wrthif: * fel hyn y gwnelo Duw i ti, ac
fel hyn y chwanego, os celi di oddi wrthif ddim
o'r holl beth yr hwn a lefarodd efe wrthit.
1,39,9 18 j Felly Samuel a fynegodd iddo yr holl
39,8 eiriau, ac nis celodd rhagddo: dywedodd yntef,
Yr Arglwydd [yw] efe, gwnaed a [fyddo] yn
dda yn ei olwg.
Bren 56 19 k A chynnyddodd Samuel, a'r Arglwydd
10, oedd gyd ag ef, ac ni adawodd [i un] oi eiriau
ef syrthio i'r ddaiar.
rn.20 20 l A gwybu holl Israel o Dan hyd Beerseba mai prophwyd yr Arglwydd [oedd] Samuel ffyddlon.
Sam. 21 m A'r Arglwydd a ymddangosodd trachefn
1 yn Silo; canys yr Arglwydd a ymeglurhaodd i
11,1 Samuel yn Silo drwy air yr Arglwydd.

## PEN. IV.

*Y Philistiad yn rhyfela a'r Israeliaid: 11 yn dwyn yr Arch, ac yn lladd meibion Eli. 18 Marwolaeth Eli a gwraig Phinees.*

n. 3, ABU a gair Samuel wrth holl Israel: ac Is-
15,53 rael a aeth i gyfarfod a'r Philistiaid i ryfel,
a gwerssyllasant ger llaw Eben-ezer a'r Philistiaid a werssyllasant yn Aphec.
7,12 3,13 2 o A'r Philistiaid a ymdaclasant i gyfarfod ag
Israel, a'r gâd a ymledodd, a lladdwyd Israel o
lar.3 flaen y Philistiaid: canys [y Philistiaid] a dar-
7,7,8 14 awsant o'r fyddin yn y maes yng-hylch pedair
7, 8, mil o wŷr.
m.15, 3 p Yna y daeth y bobl i'r gwerssyll, ac hen-
3,8 uriad Israel a ddywedasant, Pa ham y tarawodd
yr Arglwydd ni heddyw o flaen y Philistiaid?
cymmerwn attom o Silo Arch cyfammod yr
Arglwydd, a deled i'n mysc ni, fel y cadwo hi
ni o law ein gelynion.
4 q Felly y bobl a anfonodd i Silo, ac a ddug- q Gen.2,1 Iob 25,3
asant oddi yno Arch cyfammod Arglwydd y lluoedd yr hwn * sydd yn aros [rhwng] y Cerub- * Ex.25, 17, 22
iaid, ac yno [yr oedd] dau fab Eli, Hophni a Num. 7, 89
Phinees gyd ag Arch cyfammod yr Arglwydd. Sal.99,1
5 r Ac wrth ddyfod o Arch cyfammod yr Argl- Num. 4, 15
wydd i'r gwersyll, yna holl Israel a floeddiasant r Amos 6 3
a bloedd ddirfawr, fel y dadseiniodd y ddaiar. Adn. 13
6 Yna y clybu y Philistiaid lais y floedd, ac a
ddywedasant, Pa beth [yw] llais y floedd fawr
hon yng-wersyll yr Hebreaid? a gwybuant mai
Arch yr Arglwydd a ddaethe i'r gwerssyll.
7 s A'r Philistiaid a ofnasant, o herwydd hwy s Ex. 14,
a ddywedasant, Duw a ddaeth i'r gwerssyll: 25
dywedasant hefyd, Gwae ni canys ni bu yr fath
beth o flaen hyn.
8 t Gwae ni, pwy a'n gwared ni o law y Dow- t Ex. 13,
iau nerthol hyn? dymma y Duwiau hynny a da- 20
rawsant yr Aiphtiaid a phob plâ yr yr anialwch.
9 Ymgryfhewch a byddwch fel gwŷr O Phil-
istiaid, rhac i chwi wasanaethu yr Hebreaid,* *Barn.13 1
fel y gwasanaethasant hwy chwi: byddwch gan Deut.28, 47
hynny fel gwŷr, ac ymleddwch.
10 u A'r Philistiaid a ymladdasant, a lladdwyd u 2 Bren. 12, 16
Israel, a ffoawdd pawb i'w babell, a bu plâ 2 Sam.13, 2, 3
mawr iawn: canys syrthiodd o Israel ddeg-mil Sal.78,60
ar hugain o wŷr traed. Esa. 10,5
11 x Ac Arch Duw a ddygwyd ymaith, a dau x Adn. 3 Sal.78,61
fab Eli, Hophni a Phinees a fuant feirw. Pen.2,34
12 w A gŵr [o] Beniamin a redodd o'r fyddin, w Ios.7,6
ac a ddaeth i Silo y diwrnod hwnnw, ai ddillad 2 Sam,1,2
wedi [eu] rhwygo, a phridd ar ei ben.
13 Pan ddaeth efe, wele yna Eli yn eistedd
ar eisteddfa [ger] llaw yr ffordd yn disgwyl,
canys yr oedd ei galon ef yn ofni am Arch Dduw:
a'r gŵr a ddaeth i fynegu i'r ddinas, a'r holl
ddinas a waeddodd.
14 Pan glywodd Eli lais y waedd, yna y dywedodd efe, Beth [yw] llais y cynnwrf ymma?
a'r gŵr a fryssiodd, ac a ddaeth, ac a fynegodd
i Eli.
15 (Ac Eli * [oedd] fab tair blwydd ar bym- *Pen.3,2
thec a phedwar ugain, a phallase ei lygaid ef fel
na alle efe weled.)
16 A'r gŵr a ddywedodd wrth Eli, Myfi sydd
yn dyfod o'r fyddin, myfi hefyd a ffoes heddyw
o'r fyddin: a dywedodd yntef, Pa beth a ddigwyddodd fy mab?
17 Yna y gennad a attebodd, ac a ddywedodd, Israel a ffoawdd o flaen y Philistiaid, a bu
hefyd blâ mawr ym mysc y bobl, a'th ddau fab
hefyd Hophni a Phinees a fuant feirw, ac Arch
Dduw a ddygpwyd ymmaith.

xPen 1,8 Sal. 36,6 Preg. 9,1 2 Bren. 23,29 Rhuf 11,33
18 [x] A phan grybwyllodd efe am Arch Dduw, yna yntef a syrthiodd oddiar yr eisteddle yng-wysc ei gefn ger llaw y porth, ac ascwrn ei wddf ef a dorrodd, ac efe a fu farw, canys y gŵr [oedd] hên a thrwm: ac efe a farnase Israel ddeugain mlhynedd.

19 Ai waudd ef, gwraig Phinees oedd feichiog [yn agos] i esgor: pan glybu sôn am ddwyn ymmaith Arch Dduw, a marw o'i chwegrwn, ai gwr, yna hi a ymgrymmodd, ac a escorodd, canys ei gwewŷr a ymdroesent ynddi.

yGen. 35,17,18 Ioan 16,20 Sal. 77,2
20 [y] Ac yng-hylch y pryd y bu hi farw, y dywedodd [y gwragedd] y rhai oeddynt yn sefyll gyda hi, Nac ofna, canys ar fab yr escoraist; ond nid attebodd hi, ac nid ystyriodd.

zSal. 26,8 a 78,61 Hos. 9,12 Num. 14,9
21 [z] Ond hi a alwodd y bachgen Ichabod, gan ddywedyd, Y gogoniant a ymadawodd o Israel: am gymmeryd ymaith Arch Dduw, ac am [farw] ei chwegrwn ai gŵr.

aAdn. 13, Phil. 2,4 Sal. 137,6 Neh. 2,3 Ioan 2,17
22 [a] Hi a ddywedodd trachefn, Y gogoniant a ymadawodd o Israel, am ddwyn ymaith Arch Dduw.

## PEN. V.

*Dialedd Duw ar dŷ Dagon, ac ar ddinasoedd y Philistiaid, y rhai y dygpwyd yr Arch iddynt.*

bPen 4,1 Ios. 11,12 Act. 8,40
YNA [b] y Philistiaid a gymmerasant Arch Dduw, ac ai dugasant hi o Eben-ezer i Asdod.

cBarn. 16,23
2 [c] A'r Philistiaid a gymmerasant Arch Dduw, ac ai dugasant i mewn i dŷ Dagon, ac ai gosodasant hi yn ymyl Dagon.

dEx. 7,12 Luc 10,18
3 [d] A'r Asdodiaid a gyfodasant yn foren drannoeth, ac wele Ddagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb ger bron Arch yr Arglwydd, yna y cymmerasant Ddagon, ac ai gosodasant eilwaith yn ei le.

eEsa. 41,22
4 [e] Codasant hefyd yn foreu drannoeth, ac wele Ddagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb ger bron Arch yr Arglwydd, a phen Dagon, a dwy gledr ei ddwylo oeddynt wedi eu torri ar y trothwy, yn unic dagon a adawyd o honaw ef.

fHos. 5,15
5 [f] Am hynny ni sathr offeiriaid Dagon, na neb a ddelo i mewn i dŷ Ddagon ar drothwy Dagon yn Asdod hyd y dydd hwn.

gEx. 9,3 Dan 5,3,5 Adn. 2,9 Act 13,11 Pen. 6,4,5 *Sal. 78,66
6 [g] A thrwm fu llaw'r Arglwydd ar yr Asdodiaid,* canys efe ai destruwiodd hwynt, ac ai tarawodd hwynt, sef Asdod, ai holl derfynau â chlwyf y marchogion.

Iob 31,3 Dat. 16,2 hEsa. 26,11 Barn. 6,31
7 [h] Pan welodd gwŷr Asdod mai felly ['r oedd,] yna y dywedasant, Ni chaiff Arch Duw Israel aros gyd a ni, canys caled yw ei law ef arnom, ac ar Ddagon ein duw ni.

Ier. 46,25 iDiar. 21,30 Esa. 8,10 Pen. 17,4 Amos 6,2
8 [i] Am hynny yr anfonasant, ac y casclasant holl bendefigion y Philistiaid attynt, ac a ddywedasant, Beth a wnawn ni i Arch Duw Israel? yna hwynt a attebasant, Dyger Arch Duw Israel o amgylch [i] Gath, a hwy a ddygasant Arch Duw Israel oddi amgylch.

9 [j] Ac wedi iddynt ei dwyn hi o amgylch, yna y bu llaw yr Arglwydd yn erbyn y ddinas a dinistr mawr iawn, ac efe a darawodd wŷr y ddinas o fychan hyd fawr a chlwyfau y marchogion, y rhai a lechasant ynddynt hwy. jAmos 4,14

10 [k] Am hynny yr anfonasant hwy Arch Dduw i Acaron, a phan ddaeth Arch Dduw i Acaron, yna'r Acaroniaid a waeddasant gan ddywedyd, Dugasant attom ni o amgylch Arch Duw'r Israel i'n lladd ni, a'n pobl. kIos. 15,35 Barn. 1,18 2 Bren. 1,2 Ier. 15,9 Amos 1,8

11 Am hynny yr anfonasant, ac y casclasant holl bendefigion y Philistiaid, ac a ddywedasant, Danfonwch ymmaith Arch Duw Israel a dychweler hi adref, fel na laddo hi ni, a'n pobl: canys dinistr angeFol [oedd] drwy yr holl ddinas [a] throm iawn oedd law Duw yno.

12 [l] A'r gwŷr y rhai ni buant feirw a darawyd a chlwyf y marchogion: a gwaedd y ddinas a dderchafodd [i'r] nefoedd. lIer. 14,43?

## PEN. VI.

*Tywysogion y Philistiaid yn offrymmu gyd a'r Arch, ac yn ei gollwng hi adref. 19 Dialedd Duw ar y Bethsemesiaid am edrych yn yr Arch.*

BU [m] Arch yr Arglwydd yng-wlad y Philistiaid saith o fisoedd. mIob 34,? Zec 13,3

2 [n] A'r Philistiaid a alwasant am yr offeiriaid, ac am y dewiniaid gan ddywedyd, Beth a wnawn ni i Arch yr Arglwydd: hyspysswch i ni pa fodd yr anfonwn hi adref. nEx. 7,11

3 [o] Yna y dywedasant hwythau, Os ydych ar ddanfon ymmaith Arch Duw Israel, nac anfonwch hi yn wâg, onid gan roddi y rhoddwch iddi offrwm tros gamwedd: yna i'ch iacheur, ac y bydd hyspys iwch paham nad ymadawodd, ei law ef oddi wrthych chwi. oEx. 23,15 a 34,20 Deut. 16,16 Adn. 9

4 [p] Yna y dywedasant hwythau, Beth [fydd] yr offrwm tros gamwedd yr hwn a roddom ni iddi hi? ac hwy a ddywedasant pump o ffolennau aur a phump o lygod aur [yn ol] rhif pendefigion y Philistiaid: canys yr un plâ [sydd] arnynt hwy oll, ac ar eich pendefigion chwi. pMat. ? Pen. 5,25 Ios. 13,3

5 [q] Am hynny y gwnewch luniau eich ffolennau, a lluniau eich llygod y rhai ydynt yn difwyno y tir, a rhoddwch ogoniant i Dduw Israel, ond odid efe a yscafnha ei law oddi arnoch, ac oddi ar eich duwiau, ac oddi ar eich tir. qEx. 5,? Ios. 7,19 Ioan 9,24 Dat. 14,7 Ex. 12,12 Num. 33,4 Pen. 5,4

6 A* pha ham y caledwch chwi eich calon, megis y caledodd yr Aiphtiaid, a Pharao eu calon? pan wnaeth efe wrthiau yn eu plith hwy, oni ollyngasant hwy hwynt i fyned? *Ex. 8,15 a 9,?

7 [r] Ac yn awr cymmerwch, a gwnewch un fenn newydd, a dwy fuwch flith y rhai nid aeth iau arnynt: a deliwch y bychod dann y fen, a dygwch eu lloi hwynt oddi ar eu hôl i dŷ. r2 Sam. 6,3 Marc 11,2

8 Yna cymmerwch Arch yr Arglwydd a rhoddwch hi ar y fenn, a'r tlysau aur y rhai a roddasoch iddi yn offrwm dros gamwedd a osodwch mewn cist wrth ei hystlys hi, a gollyngwch hi i fyned.

9 Yna edrychwch os aiff hi i fynu i Bethse-
mes tua ei chartref, efe a wnaeth i ni y mawr
ddrwg hwn: ac onid ê, yna y cawn wybod nad
ei law ef a gyffyrddodd a ni [ond mai] damwain
oedd hyn i ni.
10 A'r gwŷr a wnaethant felly, ac a gymmer-
asant ddwy fuwch flithion, ac ai daliasant hwy
tann y fenn, ac a gaeuasant eu lloi mewn tŷ:
11 Ac a osodasant Arch yr Arglwydd ar y fenn,
a'r gist, a'r llygod aur, a lluniau eu ffolenau hwynt.
os 15,10 12 ᵃ Yna y buchod a aethant yn union a'r hŷd
21, 16 y ffordd tua ffordd Bethsemes, ar hŷd yr un
brifforde yr aethant, gan gerdded, a brefu, ac
ni wyrasant tua'r llaw ddehau, na'r llaw asswy:
a phendefigion y Philistiaid a aethant ar eu hol
hyd derfyn Bethsemes.
efts 16 13 ᵗ A [thrigolion] Bethsemes oeddynt yn medi
am 4,5 cynhaiaf y gwenith yn y dyffryn, ac a dderch-
afasant eu llygaid, ac a gansuant yr Arch, ac a
lawenychasant wrth ei gweled.
Idn 15 14 ᵘ A'r fenn a ddaeth i faes Iosuah y Bethse-
i 15,10 mesiad, ac a safodd yno: ac yno ['r oedd] maen
1,16 mawr, a hwynt a holltasant goed y fenn, ac a
offrymmasant y buchod yn boeth offrymmau i'r
Arglwydd.
um.4, 15 ᵛ Yna y Lefiaid a ddescynnasant Arch yr
am. 6, Arglwydd, a'r gist yr hon [oedd] gyd a hi, yr
hon [yr oedd] y tlyssau aur ynddi, ac ai gosod-
asant ar y maen mawr; a gwŷr Bethsemes a off-
rymmasant boeth offrymmau, ac a aberthasant
ebyrth i'r Arglwydd y dydd hwnnw.
16 A phendefigion y Philistiaid ill pump a
welsant, ac a ddychwelasant i Acaron y dydd
hwnnw.
17 Ac dymma y ffolennau aur, y rhai a rodd-
ase y Philistiaid yn offrwm tros gamwedd i'r Ar-
glwydd: dros Asdod un, dros Gasa un, dros
Ascalon un, dros Gath un, [ac] un dros Acaron.
18 A'r llygod aur [yn ol] rhifedi holl ddinas-
oedd y Philistiaid [yn perthynu] i'r pum pen-
defig, yn gystal y dinasoedd caerog, a'r trefi heb
gaerau: hyd y maen [mawr] Abel yr hwn y go
sodasant arno Arch yr Arglwydd. [yr hwn sydd]
a.3,4 hyd y dydd hwn ym maes Iosuah y Bethsemes-
19,12 iad.
n.6,7
t.29, 19 ʷ Ac efe a darawodd o wŷr Bethsemes *
:.29, am iddynt edrych yn Arch yr Arglwydd, ïe
tarawodd ym mysc y bobl ddeng-wr a thrugain,
f.12, a deng-mil a deugain o wŷr: a'r bobl a alarasant,
131, am i'r Arglwydd daro y bobl a phla [mor] fawr.
:.11, 20 ˣ Yna gwŷr Bethsemes a ddywedasant,
dr 4, Pwy a ddichon sefyll yn wyneb yr Arglwydd
m.4. Dduw sanctaidd hwn? ac at bwy yr aiff efe
10
a.3,2 oddi wrthym ni?
n.6,8
m.18 21 ʸ Am hynny yr anfonasant gennadau at
drigolion Ciriathiearim gan ddywedyd, Y Phi-
78,6
7,12 listiaid a ddugasant adref Arch yr Arglwydd,
deuwch i waered, a chymmerwch hi i fynu at-
toch chwi.

## PEN. VII.

*Dyfodiad yr Arch i Giriath-Iearim. 3 Israel wrth gyngor Samuel yn cymmeryd edifeirwch. 11 Ac yn gorchfygu y Philistiaid. 15 Llywodraeth Samuel ar Israel.*

YNA gwŷr *Ciriathiearim ᵃ a ddaethant, ac *Ios. 15,
a gymmerasant i fynu Arch yr Arglwydd, 60.a18,14
ac ai dugasant hi i dŷ Abinadab yn y bryn: ac 1Cron.14
a sancteiddiasant Eleazar ei fab ef i gadw Arch 1 2Sal.78,6
yr Arglwydd. Ier 7,12 2Sam.6,4
2 ᵃ Ac o'r dydd y trigodd yr Arch yn Ciriath- aGalar.3
iearim y bu ddyddiau lawer, nid amgen ugain 40
mlynedd a ddarfuant, a holl dŷ Israel a alar-
asant ar ol yr Arglwydd.
3 ᵇ Yna Samuel a lefarodd wrth holl dŷ Israel bIoel2,12
gan ddywedyd, Os dychwelwch chwi at yr Ar-
glwydd a'ch holl galon, bwriwch ymmaith
dduwiau dieithr o'ch mysc, ac * Astaroth: a *Ios. 24,
ᶜ pharatoiwch eich calon at yr Arglwydd, a 14, 23 cAmos 4,
* gwasanaethwch ef yn unic, ac efe a'ch gwa- 13 *Deut6,
red chwi o law y Philistiaid. 13 Mat. 4,10
4 Am hynny meibion Israel a fwriasant ym- Deut.6,4
maith * Baalim, ac Astaroth: a'r Arglwydd yn Barn. 2,
unic a wasanaethasant hwy. 13 *Barn. 2,
5 ᵈ Yna y dywedodd Samuel, Ymgesclwch 11 d Barn.
holl Israel i Mispah: ac mi a weddiaf trosoch 20, 1
chwi at yr Arglwydd.
6 ᵉ A hwy a ymgasclasant i Mispah, ac a dyn- eSal. 6, 6
nasant ddwfr, ac [ai] tywalltasant ger bron yr a 119,136 Dan. 9,3
Arglwydd, ac a ymprydiasant y diwrnod hwn- Diar. 28,
nw, ac a ddywedasant hefyd yno, Pechasom yn 14 Ezec. 20,
erbyn yr Arglwydd: a Samuel a farnodd feibion 4
Israel ym Mispah.
7 ᶠ Pan glybu y Philistiaid fod meibion Israel fAmos 7,
wedi ymgasclu i Mispah, yna pendefigion y 10 Pen. 22,
Philistiaid a aethant i fynu yn erbyn Israel: a 13
meibion Israel a glywsant, ac a ofnasant rhac 2Cron.20
y Philistiaid. 3
8 ᵍ A meibion Israel a ddywedasant wrth Sa- gEsa. 37,
muel, Na thaw di a gweiddi trosom ni at yr 4
Arglwydd ein Duw, ar iddo ef ein gwared ni
o law y Philistiaid.
9 ʰ Yna y cymmerth Samuel un llaeth-oen, ac h 1Bren.
ai hoffrymmodd ef ei gyd yn boeth offrwm i'r 18, 30
Arglwydd, a Samuel a waeddodd ar yr Argl-
wydd dros Israel, a'r Arglwydd ai ⁱ gwrandaw- iSal. 99,6
odd ef. Ier. 15, 1
10 ʲ Pan oedd Samuel yn offrymmu y poeth jPen.2,10
offrwm, yna y Philistiaid a nessasant i ryfel yn Ios 10,10
erbyn Israel, a'r Arglwydd a daranodd a thwr- Zec. 4, 6
wf mawr yn erbyn y Philistiaid y diwrnod hwn-
nw, ac ai drylliodd hwynt, fel y lladdwyd hwynt
o flaen Israel.
11 Yna gwŷr Israel a aethant o Mispah, ac a
erlidiasant y Philistiaid: ac ai tarawsant hyd
oni [ddaethant] tann Bethcar.

k Ios. 7, 26. Barn. 15, 59. Pen. 4, 1.

12 [k] A chymmerodd Samuel ryw faen, ac ai gosododd rhwng Mispah a Sen, ac a alwodd ei enw ef Eben-ezer, ac a ddywedodd, Hyd yn hyn yr Arglwydd a'n cynnorthwyodd ni.

l Pen. 10, a 14, 13.

13 [l] Felly y darostyngwyd y Philistiaid, ac ni chwanegasant mwyach ddyfod i derfyn Israel: a llaw'r Arglwydd a fu yn erbyn y Philistiaid holl ddyddiau Samuel.

m Barn. 4, 17.

14 [m] A'r dinasoedd y rhai a gymmerase y Philistiaid oddi ar Israel a roddwyd adref i Israel, o Acaron hyd Gath: ac Israel a ryddhaodd eu terfynau o law y Philistiaid: ac yr oedd heddwch rhwng Israel a'r Amoriaid.

n Barn. 2, 6. Act. 13, 21.

15 [n] A Samuel a farnodd Israel holl ddyddiau ei fywyd.

o Barn. 20, 18.

16 [o] Aeth hefyd o flwyddyn i flwyddyn, ac a amgylchodd, Bethel, a Gilgal, a Mispah: ac efe a farnodd Israel yn yr holl leoedd hynny.

p Pen. 1, 1. Barn. 21, 4.

17 [p] Ai ddychwelfa [ydoedd] i Ramah, canys yno, [yr oedd] ei dŷ ef, yno hefyd y barnodd efe Israel: ac yno'r adailadodd efe allor i'r Arglwydd.

## PEN. VIII.

*Pobl Israel (am i feibion Samuel gam-arfer eu llywodraeth) yn gofyn brenin.*

q Neh. 7, 2. Barn. 8, 23. 1 Tim. 5, 22. * 1 Cron. 6, 28. 1 Bren. 4, 31. r Preg. 2, 19. Ier. 22, 15, 17. 1 Tim. 6, 10. Ex. 18, 21. * Deut. 16, 19. Sal. 15, 5. t Pen. 7, 16, 17. Deut. 17, 14. Lef. 20, 24. * Hos. 13, 10. Act. 13, 21. u Pen. 12, 17. Iago 1, 5. v Ios. 13, 11. Hos. 6, 6. Pen. 12, 19. Luc 19, 14. w Ezec. 46, 18. Pen. 2, 13.

A [q] PHAN heneiddiodd Samuel, yna y gosododd efe ei feibion yn farnwŷr ar Israel.

2 A henw ei fab cyntafanedic ef oedd * Ioel, ac enw yr ail Abiah, [y rhai hyn oeddynt] farnwŷr yn Beerseba.

3 [r] Ai feibion ni rodiasant yn ei ffyrdd ef, eithr troasant ar ol cybydd-dra, a * chymmerasant obrwy, a gŵyrasant farn.

4 Yna holl henuriaid Israel a ymgasclasant, ac a ddaethant at Samuel i Ramah,

5 [t] Dywedasant hefyd wrtho ef, Wele ti a heneiddiaist, a'th feibion ni rodiasant yn dy ffyrdd di: * yn awr gosot arnom ni frenin i'n barnu ni megis yr holl genhedloedd [eraill.]

6 [u] A'r ymadrodd fu ddrwg gan Samuel, pan ddywedasant, Dyro i ni frenin i'n barnu: a Samuel a weddiodd at yr Arglwydd.

7 [v] A dywedodd yr Arglwydd wrth Samuel, Gwrando ar lef y bobl yn yr hyn oll a ddywedant wrthit: canys nid ti y maent yn ei ddirmygu ond myfi a ddirmygasant rhac teyrnasu arnynt.

8 Yn ol yr holl weithredoedd y rhai a wnaethant o'r dydd y dugum hwynt o'r Aipht hyd y dydd hwn, ac [fel] y gwrthodasant fi, ac y gwasanaethasant dduwiau dieithr: felly y gwnaethant hwy hefyd i ti.

9 [w] Ac yn awr gwrando ar eu llais hwynt, etto gan destiolaethu testiolaetha iddynt, a dangos iddynt ddull y brenin yr hwn a deyrnasa arnynt.

10 Felly Samuel a fynegodd holl eiriau'r Arglwydd wrth y bobl y rhai oeddynt yn ceisio brenin ganddo ef.

11 Ac efe a ddywedodd, Dymma ddull y brenin yr hwn a deyrnasa arnoch chwi: efe a gymmer eich meibion, ac ai gesyd iddo yn ei gerbydau, ac ym mysc ei wŷr meirch, i redeg o flaen ei gerbydau ef:

12 Ac [ai] gesyd [hwynt] iddo yn dywysogion miloedd, ac yn dywysogion dec a deugain, ac i aredic ei âr ef, ac i fedi ei gynhaiaf ef, ac i wneuthur arfau ei ryfel ef, a pheiriannau ei gerbydau.

13 A'ch merched a gymmer ef yn Apothecaresau, yn gogesau hefyd, ac yn bobyddesau.

14 [x] Efe a gymmer hefyd eich meusydd a'ch gwinllannoedd, ach olew lannoedd goref, ac ai dyru iw weision.

15 [y] Eich hadau hefyd, a'ch gwin-llannoedd a ddegymma efe, ac ai dyru iw stafellyddion, ac iw weision.

16 Eich gweision hefyd, a'ch morwynion, eich gwŷr ieuaingc goref hefyd, a'ch assynnod, a gymmer efe, ac [ai] gesyd iw waith.

17 [z] Eich defaid hefyd a ddegymma efe, chwitheu hefyd fyddwch yn weision iddo ef.

18 [a] A'r dydd hwnnw y gwaeddwch rhac eich brenin yr hwn a ddewisasoch i chwi: ac nid etyb yr Arglwydd chwi yn y dydd hwnnw.

19 [b] Er hynny y bobl a wrthodasant wrando ar lais Samuel, ac a ddywedasant, Nid [felly:] eithr brenin fydd arnom ni.

20 [c] A byddwn ninnau hefyd fel yr holl genhedloedd [eraill:] a'n brenin a'n barna ni, efe a aiff allan hefyd o'n blaen ni, ac efe a ymladd ein rhyfeloedd ni.

21 A gwrandawodd Samuel holl eiriau y bobl, ac ai hadroddodd hwynt lle y clybu'r Arglwydd.

22 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Samuel, Gwrando ar eu llef hwynt, a gosot frenin arnynt: a dywedodd Samuel wrth wŷr Israel, Ewch bob un iw ddinas ei hun.

## PEN. IX.

*Saul, wedi methu ganddo gael assynnod ei dâd. 6 yn myned i ymofyn a Samuel am danynt hwy. 19 Yn ciniawa, ac yn lletteu gyda Samuel, ac yn cael argoelion y bydde efe frenin.*

AC yr oedd gŵr cadarn nerthol o Beniamin, ai enw * Cis mab Abiel fab Zeror, fab Becorath, fab Aphiah, mab i wr o Iemini yn gadarn o nerth.

2 [d] Ac iddo ef yr oedd mab ai enw Saul, yn wr ieuangc, a thêg, ac nid [oedd] neb o feibion Israel decach nag ef: oi yscwydd i fynu yr oedd yn uwch na'r holl bobl [eraill.]

3 [e] Ac assynnod Cis tad Saul a gyfrgollasent, yna y dywedodd Cis wrth Saul ei fab, Cymmer yn awr un o'r llangciau gyda thi, a chyfot, dos, cais yr assynnod.

4 [f] Ac efe a aeth trwy fynydd Ephraim, ac a drammwyodd drwy wlad Salisa, ac nis cawsant [hwynt,] yna y trammwyasant trwy wlad Salim,

ac nis [cawsant hwynt] ac efe a aeth trwy wlad
Iemini, ond nis cawsant [hwynt.]
Pen.1,1 5 [g] Hwynt a ddaethant i wlad Zuph, yna y dy-
wedodd Saul wrth ei langc yr hwn [oedd] gyd
ag ef, Tyret a dychwelwn rhac i'm tad beidio
a'r assynnod, a gofalu am danom ni.
Barn.13 6 [h] Dywedodd yntef wrtho ef, Wele yn awr [y
Bren.13 mae] yn y ddinas hon ŵr i Dduw, a'r gŵr [sydd]
ut.33, anrhydeddus, yr hyn oll a ddywedo efe gan ddy-
hes.5, fod a ddaw: awn yno yn awr, nid hwyrach y my
n.3,20 nega efe i ni y ffordd yr hon y mae i ni fyned iddi.
c.1,5, 7 [i] Yna y dywedodd Saul wrth ei langc, Wele
Bren. od awn ni pa beth a ddygwn ni i'r gŵr? canys y
3 ren.4, bara a ddarfu yn ein llestri ni, a gobr [arall] nid
[oes] iw ddwyn i ŵr Duw: beth [sydd] gennim?
1,8 n.13, 8 [j] A'r llangc a attebodd eilwaith Saul, ac a
,18 ddywedodd, Wele cafwyd gyda mi bedwaredd
53,9 edr 2, ran sicl o arian: ac mi a roddaf [hynny] i ŵr
Duw er mynegi i ni ein ffordd.
n 25, 9 [k] (Gynt yn Israel fel hyn y dywede gŵr wrth
n.1,1 n.17, fyned i ymgynghori a Duw, Deuwch ac awn
hyd at y gweledudd: canys y prophwyd heddyw
os 7, a elwid gynt yn weledudd.)
29,10 ,19 10 [l] Yna y dywedodd Saul wrth ei langc, Da
51,13 g.4,9 y dywedi, tyret, awn: felly yr aethant i'r ddinas
yn yr hon yr [oedd] gŵr Duw ynddi.
11 Fel yr oeddynt yn myned i riw y ddinas,
yna hwy a gawsant langcesau yn dyfod allan i
dynnu dwfr: ac a ddywedasant wrthynt, a [yd-
yw]'r gweledudd ymma?
n.7, 12 [m] Hwythau ai hattebasant hwynt, ac a ddy
31, wedasant, Ydyw, wele [efe] o'th flaen: bryssia yr
n.3, awrhon, canys heddyw y daeth efe i'r ddinas, o
herwydd aberth [sydd] heddyw gan y bobl yn
yr uchelfa.
ut.8, 13 [n] Pan ddeloch gyntaf i'r ddinas, chwi ai
cewch ef cyn myned i fynu i'r uchelfa i fwytta,
canys ni fwyttu y bobl hyd oni ddelo efe, o her-
wydd efe a fendiga yr aberth, ar ol hynny y
bwyttu y rhai a wahoddwyd, am hynny ewch i
fynu canys heddyw y cewch ef.
14 Felly'r aethant i fynu i'r ddinas, [pan] dda-
ethant i ganol y ddinas, wele yna Samuel yn
dyfod iw cyfarfod, i fyned i fynu i'r uchelfa.
15, 15 * A'r Arglwydd a fynegase yng-hlust Samuel
18,16 (un diwrnod cyn dyfod Saul) gan ddywedyd:
am. 16 [o] Ynghylch y pryd [hyn] y foru'r anfonaf
attat ti ŵr o wlad Beniamin, a thi ai heneini ef
yn flaenor ar fy mhobl Israel, ac efe a wared fy
mhobl o law y Philistiaid: canys edrychais ar
fy mhobl, o herwydd daeth eu gwaedd attaf.
16, 17 [p] Pan ganfu Samuel Saul, yna'r Arglwydd
af.13 a ddywedodd wrtho ef, Wele y gŵr y r hwn a ddy-
14, wedais wrthit ti, [q] hwn a lywodraetha ar fy mhobl.
26 18 Yna Saul a nessaodd at Samuel yng-hanol
y porth, ac a ddywedodd, Mynega i mi attolwg
pa le ymma [y mae] tŷ y gweledudd?

19 A Samuel a attebodd Saul, ac a ddywed-
odd, Myfi [yw] y gweledudd, dos i fynu o'm
blaen i'r uchelfa, a bwyttewch gyd a'm fi hedd-
yw, a mi a'th ollyngaf y boreu, ac mi a fynegaf
i ti yr hyn oll a ewyllysiech di.
20 [r] Ac am yr assynnod y rhai a gyfrgollasant r Pen. 8, 11, 12
gennit er ys tri-dieu, na ofala am danynt, canys a 16,7
cafwyd hwynt: ac i bwy y mae holl bethau dy- Adn. 2
munol Israel, onid i ti, ac i holl dŷ dy dad ti?
21 [s] Yna Saul a attebodd ac a ddywedodd, Onid s Barn. 20 46. 48
mab Iemini [ydwyfi?] o'r lleiaf o lwythau Israel? Barn. 6,
a'm teulu [sydd] leiaf o holl deuluoedd llwyth 15
Beniamin, a phaham y dywedaist wrthif y
modd hyn?
22 [t] A Samuel a gymmerth Saul ai langc, ac ai t Gen. 43, 34
dug hwynt i'r stafell, ac a roddes iddynt le o
flaen y gwahodd-wyr, a hwynt [oeddynt] yng-
hylch deng-wr ar hugain.
23 [u] A Samuel a ddywedodd wrth y côg, Dyro u Pen.1,5
y rhan yr hon a roddais attat ti, [sef] y rhan am
yr hon y dywedais wrthyt, Cadw hon gyda thi.
24 [v] Yna y côg a gyfododd ysgwyddoc a'r hyn v Lef. 7, 32, 33
[oedd] arni, a [Samuel] ai gosodes ger bron Saul,
ac a ddywedodd, Wele y gweddill, gosot ger dy
fron, bwytta, canys erbyn y pryd hyn y cadwyd
ef i ti, gan ddywedyd, Y bobl a wahoddais i. a
bwyttaodd Saul gyda Samuel y dydd hwnnw.
25 [w] Pan ddescynnasant o'r uchelfa [i'r] ddinas, w Pen 10, 1
yna yr ymddiddanodd efe â Saul ar ben y tŷ. Dan.6,10 Act. 10,9
26 [x] A phan gyfodasant yn foreu yng-hylch x Deut. 22, 8
codiad y wawr, yna y galwodd Samuel ar Saul 2Sam.11, 2
ar ben y tŷ gan ddywedyd, Cyfot fel i'th hebr- Mat. 10, 27
yngwyf ymmaith; yna y cyfododd Saul, ac efe Marc 2,4
a Samuel a aethant ill dau allan. Act. 10,9
27 [y] Hwynt a ddescynnasant i gwrr eithaf y Neh.8,16 Ier.19,13
ddinas: yna Samuel a ddywedodd wrth Saul, y Num 23, 3
Dywet wrth y llangc am fyned o'n blaen ni, Barn. 3, 20
(felly'r aeth efe) ond saf di yr awr hon, a myneg-
af i ti air Duw.

## PEN. X.

*Samuel yn eneinio Saul yn frenin.*

YNA [a] Samuel a gymmerodd phioled o olew, a Pen.16, 13
ac ai tywalltodd ar ei ben ef, ac ai cusan- 2Bren. 9, 1, 3
odd ef, ac a ddywedodd, Onid yr Arglwydd a'th Gen. 41, 46
eneiniodd di yn flaenor ar ei etifeddiaeth ef? 1Bren.19, 18
2 Pan elech di heddyw oddiwrthif, yna y cei Sal. 2, 12
ddau ŵr wrth * fedd Rahel yn nherfyn Benia- 1Bren. 3, 9
min yn Zelzah, a hwynt a ddywedant wrthit, Ex. 19, 5
Cafwyd yr assynnod y rhai yr aethost iw ceisio, *Gen.35, 19
ac wele dy dad a ollyngodd heibio chwedl yr
assynnod, a gofalu y mae trosoch chwi, gan
ddywedyd, Beth a wnaf am fy mab?
3 [a] Yna yr ei di ymmhellach oddi yno, ac y deui a Lef. 23, 13
hyd at wastadedd Thabor, ac yno i'th gyferfydd
try-wyr yn myned i fynu at Dduw [i] Bethel: un
yn dwyn tri o fynnod, ac un yn dwyn tair torth
o fara, ac un yn dwyn costrelaid o win.

4 A hwy a'th gyfarchant, ac a roddant i ti ddwy
[dorth] o fara, [y rhai] a gymmeri oi llaw hwynt.
b Adn 10 5 b Yn ol hynny y deui* i fryn Duw yn yr hwn
*Pen.7 1 y mae sefyllfaoedd y Philistiaid: a phan ddelech
Pen 13.2 3 yno [i'r]ddinas, ti a gyfarfyddi a thyrfa o broph-
1Cor.1,10 wydi yn descyn o'r uchelfa, ac oi blaen hwynt
1Cor.14,1 nabal, a thympan, a phibell, a thelyn, a hwyth-
1Thes.5, 20 an yn prophwydo.
c Act. 2,2 Num.11, 6 c Yna ysbryd yr Arglwydd a ddaw arnat ti, fel
25 Mat 7,22 y prophwydech gyda hwynt, a thi a droir yn
Adn 10 ŵr arall.
Pen 11,6 d Barn.9. 7 d A phan ddelo yr argoelion hyn i ti, gwna fel
33 Gen. 21, y byddo'r achos, canys Duw [sydd] gyd a thi.
20 e Adn.1,7 8 e A dos i wared o'm blaen i Gilgal, ac wele
Pen. 11, mi addeuaf i wared attat ti, i offrymmu offrym-
14 *Pen, 11, mau poeth [ac] i aberthu ebyrth hedd: * disgwil
15 a 13 9 am danaf saith niwrnod, hyd oni ddelwyf attat,
Pen.13,8 ac mi a hyspyssaf i ti yr hyn a wnelech.
9 A phan drodd efe ei gefn i fyned oddi wrth
Samuel, yna Duw a rodd iddo ef galon arall:
a'r holl argoelion hynny o ddaethant y dydd
hwnnw [i ben.]
f Pen. 19, 23 10 f Pan ddaethant yno at y brynn, wele finteu
Adn. 5, 6 o brophwydi yn ei gyfarfod ef: yna ysbryd Duw
a ddaeth arno yntef, a prophwydodd yn ei mysc
hwynt.
g Mat. 13 55 11 g A phawb a'r ai hadwaenent o'r blaen a ed-
Act. 4,13 Ioan 7,15 rychasant, ac wele [efe] gyd a'r prophwydi yn
prophwydo: yna y bobl a ddywedasant bawb
*Pen. 19, 24 wrth ei gilydd, Beth yw hyn gan fab Cis: * a
[ydyw] Saul hefyd ym mysc y prophwydi?
h Sal 8, 2 12 h Ac un oddi yno a attebodd, ac a ddywed-
Act 4, 13 a 10, 34 odd: Etto pwy [yw] eu tâd hwy? am hynny yr
Iago 1,17 Ioan 3, 8 aeth yn ddihareb, A [ydyw] Saul hefyd ym mysc
y prophwydi?
13 Pan orphennodd efe brophwydo, yna y
daeth efe i'r uchelfa.
14 Ac ewythr Saul frawd ei dad a ddywed-
odd wrtho ef, ac wrth ei langc ef, Pa le yr aeth-
och? yna y dywedodd efe, I geisio'r assynnod,
pan welsom nas[ceid,] yna y daethom at Samuel.
15 Ac ewythr Saul a ddywedodd, Mynega
attolwg i ni beth a ddywedodd Samuel wrth-
ych chwi.
i Ex. 4,18 16 i Yna y dywedodd Saul wrth ei ewythr, Gan
Pen 9, 27 Diar. 29, fynegu mynegodd i ni fod yr assynnod wedi eu
11 cael: ond am chwedl y frenhiniaeth yr hwn a ddy-
wedase Samuel, nid ymgênodd efe wrtho ef.
j Pen 8, 22 17 j A Samuel a alwodd y bobl at yr Arglwydd
Barn.11, 11 a 20,1 i Mispah.
Pen. 11. 15, a 7, 6 18 k Ac efe a ddywedodd wrth feibion Israel,
k Barn.2, Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw Israel,
1 a 6, 8 Myfi a ddygais i fynu Israel o'r Aipht: ac a'ch
l Pen 8 gwaredais chwi o law'r Aiphtiaid, ac o law'r
6,7 Pen 8, 19 holl deyrnasoedd y rhai a'ch gorthrymmeut chwi.
Ios. 7, 16 Mica 5, 2 19 l Ond chwi heddyw a wrthodasoch eich
Num. 10, 36 Duw yr hwn sydd yn eich gwared chwi oddi
wrth eich holl ddryg-fyd, a'ch helbul, ac a ddy-
wedasoch wrtho ef *[Nid felly,] eithr gosot ar-
nom ni frenin: am hynny sefwch yr awr hon
ger bron yr Arglwydd yn ol eich llwythau, ac
yn ol eich miloedd.
20 m Yna Samuel a barodd i holl lwythau Is-
rael nessau, ac fe a ddaliwyd llwyth Beniamin.
21 n Pan barodd efe i lwyth Beniamin nessau
yn ol eu teuluoedd, yna y daliwyd teulu Math-
ri, felly Saul mab Cis a ddaliwyd, a phan geis-
iasant ef nis caed ef.
22 o Am hynny y gofynnasant eil-waith i'r
Arglwydd, a ddaethe'r gŵr yno etto? a'r Ar-
glwydd a ddywedodd, Wele efe yn ymguddio
ymmhlith y dodrefn.
23 p Yna y rhedasant ac y cymmerasant ef
oddi yno, ac efe a safodd yng-hanol y bobl: ac
yr oedd efe oi yscwydd i fynu yn uwch na'r holl
bobl.
24 q Yna y dywedodd Samuel wrth yr holl
bobl, Oni welsoch chwi yr hwn a ddewisodd yr
Arglwydd, nad [oes neb] megis ef ym mysc y
bobl? a'r holl bobl a floeddiasant, ac a ddywed-
asant, Byw fyddo'r brenin.
25 Yna Samuel a draethodd * gyfraith y
deyrnas wrth y bobl, ac ai scrifennodd mewn
llyfr, ac ai gosododd ger bron yr Arglwydd, a
Samuel a ollyngodd ymmaith yr holl bobl bob
un iw dŷ.
26 r A Saul hefyd a aeth iw dŷ ei hun i Gibea:
a llû o'r rhai y cyffyrddase Duw ai calon a
aethant gyd ag ef.
27 s Ond meibion y fall a ddywedasant, Pa
fodd y gwared hwn ni? felly y dirmygasant ef,
ac ni ddugasant anrheg iddo ef: eithr ni chym
merodd efe arno glywed hyn.

## PEN. XI.

*Nahas yn rhyfela yn erbyn Iabes, 11 a Saul yn ei orchfygu ef.*

YNA t Nahas yr Ammoniad a ddaeth i fynu,
ac a wersyllodd yn erbyn Iabes Gilead:
a holl wŷr Iabes a ddywedasant wrth Nahas,
Gwna gyfammod a ni, ac ni a'th wasanaethwn di.
2 u A Nahas yr Ammoniad a ddywedodd
wrthynt, Yn hyn y cyfammodaf a chwi, drwy
dynnu ymmaith bob llygad dehau i chwi, fel y
gosodwyf y gwaradwydd hyn ar holl Israel.
3 Yna henuriaid Iabes a ddywedasant wrtho,
Paid a ni saith niwrnod, fel yr anfonom gen-
nadau i holl derfynau Israel, ac oni [bydd] a'n
gwaredo, yna deuwn allan attat ti.
4 v A'r cennadau a ddaethant i Gibea Saul,
ac a adroddasant y geiriau lle y clybu y bobl:
a'r holl bobl a dderchafasant eu llef, ac a wylasant.
5 w Ac wele Saul yn dyfod ar ol y gwartheg
o'r maes, yna y dywedodd Saul, Beth sydd yn
peri i'r bobl wylo? yna yr adroddasant iddo eir-
iau gwŷr Iabes.

Barn.3, 6 [x] Yna yspryd Duw a ddaeth ar Saul pan
Pen.10,10 glybu efe y geiriau hynny: ai ddigofaint ef a
Adn 2 Num 12,3 enynnodd yn ddirfawr.
Ex. 32,19 7 [y] Ac efe a gymmerth iau o ŷchen, ac ai dryll-
Barn.19 iodd, ac [ai] danfonodd drwy holl derfynau Is-
Barn. 21 rael yn llaw y cennadau gan ddywedyd, Yr hwn
nid elo ar ol Saul, ac ar ol Samuel fel hyn y
gwneir iw wartheg ef: ac ofn yr Arglwydd a
syrthiodd ar y bobl, a hwy a aethant allan yn
gytûn.
Barn 1 8 [a] Pan gyfrifodd efe hwynt yn Bezec, yna
meibion Israel oeddynt dry-chan mil, a gwŷr
Iuda yn ddeng mil ar hugain.
9 Yna y dywedasant wrth y cennadau a
ddaethent, Fel hyn y dywedwch wrth wŷr Iabes
Gilead, y foru erbyn gwressogi 'r haul y bydd
i chwi ymwared: felly y cennadau a ddaethant,
ac a fynegasant [hynny] i wŷr Iabes, a hwytheu
a lawenychasant.
Adn 2 10 [b] Am hynny gwŷr Iabes a ddywedasant.
Y foru y deuwn allan attoch chwi, ac y gwnewch
i ni, yn ol [yr hyn] oll a weloch yn dda.
1.46,1 12,14 11 [c] Yna y daeth Saul drannoeth, ac a osod-
n. 7, odd y bobl yn dair byddin, a hwy a ddaethant i
101,8 ganol y gwerssyll yn y wiliadwriaeth foreu, ac
14.24 8, 9 a darawsant yr Ammoniaid nes gwressogi o'r
0 2,13 14,10 dydd: a'r gweddillion yna a wascarwyd fel na
thrigodd o honynt ddau yng-hyd.
n.10, 12 [d] Yna y dywedodd y bobl wrth Samuel,
19,27 Pwy sy yn dywedyd, A deyrnasa Saul arnom
ni? rhoddwch y gwŷr hynny fel y rhoddom
hwynt i farwolaeth.
m.19 13 [e] A Saul a ddywedodd, Na rodder neb i
farwolaeth heddyw: canys heddyw y gwnaeth
yr Arglwydd ymwared yn Israel.
s.4,15 14 [f] Yna Samuel a ddywedodd wrth y bobl,
Deuwch fel yr elom i Gilgal, ac yr adnewydd-
om y frenhiniaeth yno.
n.14, 15 [g] Felly'r holl bobl a aethant i Gilgal, ac yno y
gosodasant Saul yn frenin ger bron yr Arglwydd
yn Gilgal, a hwy a aberthasant yno ebyrth hedd
ger bron yr Arglwydd: am hynny Saul a law-
enychodd yno, a holl wŷr Israel yn ddirfawr.

## PEN. XII.

*Samuel yn dangos ei ddiniweidra ei hun, ac aniolchgarwch y bobl, 23 yn gweddio trostynt, ac yn eu cynghori.*

1. 11 YNA [h] Samuel a ddywedodd wrth holl Is-
8,20 rael, Wele gwrandewais ar eich llef yn yr
1.27, hyn oll a ddywedasoch wrthif: a gosodais fren-
dr 1 in arnoch.
n. 4, 2 [i] Ac yr awr hon wele y brenin yn rhodio o'ch
5 blaen chwi, a minne a heneiddiais, ac a ben-
24,7 wynnais, ac wele fy meibion hwythau gyda chwi:
14,5 20, minne hefyd a rodiais o'ch blaen chwi o'm me-
byd hyd y dydd hwn.
es. 2, 3 [j] Wele fi: testiolaethwch i'm herbyn ger
it. 16, bron yr Arglwydd, a cher bron ei eneiniog, ŷch
pwy a gymmerais, neu assyn pwy a gymmerais,
neu pwy a orthrymmais i, pwy a friwais, neu
o law pwy y cymmerais obrwy, fel y dallwn i
fy llygaid ag ef, ac mi ai talaf i chwi?
4 [k] Yna y dywedasant hwy, Ni orthrymmaist k Act. 20, 14
ni, ni friwaist ni ychwaith, ac ni chymmeraist Dan. 6, 4
ddim o law neb.
5 [l] Dywedodd yntef wrthynt, Yr Arglwydd l Act. 24, 16
[sydd] dyst yn eich erbyn chwi, ei eneiniog ef he-
fyd [sydd] dŷst y dydd hwn, na chawsoch ddim
yn fy llaw i: a'r [bobl] a ddywedasant, Tŷst
[ydynt hwy.]
6 [m] Dywedodd Samuel hefyd wrth y bobl: Yr m Ex. 4, 19 21
Arglwydd [sydd dŷst] yr hwn a fawrhaodd
Moses, ac Aaron, a'r hwn a ddûg i fynu eich
tadau chwi o dir yr Aipht.
7 [n] Ac yn awr sefwch fel yr ymresymmwyf a n Esa. 1, 18
chwi, ger bron yr Arglwydd: am holl gyfiawn- Mic. 6, 3, 4
derau yr Arglwydd y rhai a wnaeth efe i chwi,
ac i'ch tadau.
8 * Wedi i Iacob ddyfod i'r Aipht, a gweiddi *Gen. 46, 5, 6
o'ch tadau chwi ar yr Arglwydd, yna yr Ar- Ex. 1, 8 a 13, 14
glwydd a anfonodd Moses, ac Aaron, a hwynt Ex. 4, 16
a ddugasant eich tadau chwi o'r Aipht, ac ai
cyfleuasant hwy yn y lle hwn.
9 [o] * Yna'r anghofiasant yr Arglwydd eu Duw, o Deut. 32, 15
ac efe ai gwerthodd hwynt i law Sisera tywys- Sal. 10, 4
og milwriaeth Hazor, ac i law y Philistiaid, ac Barn 2, 14
i law brenin Moab, ac hwy a ymladdasant iw *Barn. 4, 1, 2
herbyn hwynt. a 13, 1 a 3, 12
10 [p] Yna y gwaeddasant hwy ar yr Arglwydd, p Pen. 7, 4
ac y dywedasant, Pechasom, canys gwrthod-
asom yr Arglwydd, a gwasanaethasom Baalim,
ac Astaroth, er hynny gwaret ni yr awr hon o
law ein gelynion, fel y gwasanaethom di:
11 [q] A'r Arglwydd a anfonodd Ierubbaal, a q Barn. 6, 32
Bedan, Iephthah hefyd, a Samuel, ac a'ch gwa-
redodd o law eich gelynion o amgylch, a chwi
a bresswyliasoch yn ddiogel.
12 [r] Er hynny pan welsoch ddyfod Nahas r Pen. 5, 8
brenin meibion Ammon yn eich erbyn, yna y Num. 23, 21
dywedasoch wrthif, Nag ê, onid brenin a deyr- Hos. 10, 13
nasa arnom ni, er [bod] yr Arglwydd eich Duw
yn frenin [i] chwi.
13 [s] Ac yn awr wele'r brenin yr hwn a ddewis- s Pen 10, 10 Hos. 13, 11
asoch chwi [a]'r hwn a geisiasoch: wele gan
hynny'r Arglwydd a roddes frenin arnoch chwi. Mat. 19, 8
14 [t] Os ofnwch chwi yr Arglwydd, ai wasan- t Ios. 24, 14
aethu ef, a gwrando ar ei lais ef, heb anufyddhau
o honoch air yr Arglwydd, eithr bod o honoch
chwi, a'r brenin hefyd yr hwn a deyrnasa ar-
noch ar ol yr Arglwydd eich Duw [yna y
parhewch.]
15 [u] Ond os chwi ni wrandewch ar lais yr Ar- u Sal. 81, 11, 12
glwydd, eithr anufyddhau gair yr Arglwydd: Lef. 26, 15, 16
yna y bydd llaw'r Arglwydd yn eich erbyn
chwi, fel yn erbyn eich tadau.

v Adn. 18 16 [v] Sefwch hefyd yn awr, a gwelwch y peth
1 Cor. 1, mawr hyn, yr hwn a wnaiff'r Arglwydd o flaen
22 eich llygaid chwi.
w Diar. 17 [w] Onid cynhaiaf gwenith [yw] heddyw?
26, 1 galwaf ar yr Arglwydd, ac efe a ddyru darânau,
Iago 5, 17, 18 a gwlaw: yna gwybyddwch a gwelwch, mai
Ier. 15, 1 mawr [yw] eich drygioni chwi, yr hwn a wnaeth-
Pen. 8, 7 och yng-olwg yr Arglwydd, am geisio i chwi frenin.
x Ezra 10, 18 [x] Felly y galwodd Samuel ar yr Arglwydd,
9 a'r Arglwydd a roddes darânau, a gwlaw y
Ex. 14, 21 dydd hwnnw: fel yr ofnodd yr holl bobl yr Ar-
glwydd, a Samuel yn ddirfawr.
19 A'r holl bobl a ddywedasant wrth Samuel,
Gweddia tros dy weision at yr Arglwydd dy
Dduw, fel na byddom feirw: canys chwanegas-
om ddrygioni ar ein holl bechodau wrth geisio i
ni frenin.
y Ier. 3, 3 20 [y] Yna y dywedodd Samuel wrth y bobl,
Ex. 34, 6 Nac ofnwch, (chwi a wnaethoch yr holl ddryg-
Deut. 6, 5 ioni hyn: etto na chiliwch oddi ar ol yr Arg-
lwydd, onid gwasanaethwch yr Arglwydd a'ch
holl galon.
z 1 Cor. 8, 21 [z] Iê na chiliwch, canys [felly'r aeth] ar ôl
4 oferedd y rhai ni lesânt, ac ni'ch gwaredant
Ier. 10, 8 canys oferedd [ydynt] hwy.)
Hab. 2, 18
a Ezec. 20, 9 22 [a] Canys ni wrthyd yr Arglwydd ei bobl er
Deut 7, 7, 8 mwyn ei enw mawr ef: o herwydd yr Arglwydd
Mat. 11, 26 a ewyllysiodd eich gwneuthur chwi yn bobl iddo
Mal. 1, 2 ef ei hun.
b 1 Cor. 9, 23 [b] Minne hefyd, na atto Duw i mi bechu yn
16 erbyn yr Arglwydd, a pheidio a gweddio tros-
Preg. 12, 10 soch: eithr dyscaf chwi yn y ffordd dda ac inion.
c Ezra 9, 24 [c] Er hynny ofnwch yr Arglwydd, a gwas-
13 anaethwch ef mewn gwirionedd a'ch holl galon,
canys gwelwch morr fawredic y gwnaeth a chwi.
d Iob 34, 25 [d] Ond os dilynwch ddrygioni, chwi hefyd
19 a'ch brenin a ddifethir.

## PEN. XIII.

*Samuel yn dangos i Saul y colle efe ei frenhiniaeth am ei rufyg yn aberthu.*

e Pen 10, WEDI [e] teyrnasu o Saul un flwyddyn
24 (canys dwy flynedd y teyrnasodd efe ar
a 11, 15 Israel.)
Adn 2
Pen 15 26
f Pen. 23, 2 [f] Yna Saul a ddewisodd iddo dair mil o Is-
23 rael, a dwy fil oeddynt gyd a Saul ym Micmas,
Barn. 19, ac ym mynydd Bethel: a mil oeddynt gyd ag
12 Ionathan yn Gibea Beniamin: a gweddill y bobl
a anfonodd efe, bawb iw babell ei hun.
g Pen 7, 13 3 [g] Ac Ionathan a darawodd sefyllfa y Philis-
Pen 10, 5 tiaid yr hon [oedd] yn Geba, a chlybu'r Philistiaid
[hynny:] a Saul a ganodd mewn udcorn drwy'r
holl dir gan ddywedyd, Clywed yr Hebreaid.
h Adn 2 4 [h] A holl Israel a glywsant ddywedyd daro
o Saul sefyllfa y Philistiaid; am hynny Israel a
ffieiddiwyd ym mysc y Philistiaid: a'r bobl a
i Gen. 22, ymgasclodd ar ol Saul i Gilgal.
17 5 [i] A'r Philistiaid a ymgynnullasant i ymladd
Ios. 18, 12

ag Israel, [sef] deng-mil ar hugain o gerbydau,
a chwe mil o wŷr meirch, a phobl [eraill] cyn
amled a'r tyfod yr hwn [sydd] ar fin y môr: ac
hwy a ddaethant i fynu, ac a werssyllasant ym
Micmas o du'r dwyrain i Bethafen.
6 [j] Pan welodd gwŷr Israel fod yn gyfyng ar-
nynt (canys gwascasyd ar y bobl:) yna y bobl a
ymguddiasant mewn ogfeudd, ac mewn am-
ddeffynfeudd, ac mewn creigiau, ac mewn
tŷrau, ac mewn pydewau.
7 A [rhai o'r] Hebreaid a aethant tros yr
Iorddonen i dir Gad, a Gilead: a Saul [oedd]
etto yn Gilgal, a'r holl bobl yn ddychrynedic a
aethant ar ei ol ef.
8 [k] Ac efe a ddisgwiliodd saith niwrnod hyd
yr amser terfynedic yr hwn [a ddywedase] Sa-
muel, ond ni ddaeth Samuel i Gilgal: am hynny
y gwascarodd y bobl oddi wrtho ef.
9 [l] Yna y dywedodd Saul, Dygwch attafi
boeth offrwm, ac offrwm hedd: ac efe a offrym-
modd boeth offrwm.
10 [m] A phan orphennodd efe offrymmu y poeth
offrwm, yna wele Samuel a ddaeth: a Saul a
aeth allan i'w gyfarfod ef [ac] iw gyfarch ef.
11 [n] Yna y dywedodd Samuel, Beth a wnae-
thost di? a Saul y ddywedodd, O herwydd
gweled o honof i'r bobl wascaru oddi wrthif, ac
na ddaethost dithe erbyn y dyddiau terfynedic,
ac i'r Philistiaid ymgasclu i Micmas:
12 [o] Am hynny y dywedais, Y Philistiaid yn
awr a ddeuant i wared attafi i Gilgal, ac ni we-
ddiais ger bron yr Arglwydd, am hynny'r an-
turiais i, ac yr offrymmais boeth offrwm.
13 [p] A Samuel a ddywedodd wrth Saul, Yn-
fyd y gwnaethost, ni chedwaist orchymyn yr
Arglwydd dy Dduw yr hwn a orchymynnodd efe
i ti: canys yr Arglwydd yn awr a gadarnhase
dy frenhiniaeth di ar Israel hyd yn dragywydd.
14 [q] Ond yn awr ni saif dy frenhiniaeth di, yr
Arglwydd a geisiodd iddo wr wrth [fodd] ei ga-
lon ei hun, yr Arglwydd hefyd ai hordeiniodd
ef yn flaenor ar ei bobl, o herwydd na chedw-
aist di yr hyn a orchymynnodd yr Arglwydd i ti.
15 [r] Yna y cyfododd Samuel, ac yr aeth i fynu o
Gilgal i Gibea Beniamin: a chyfrifodd Saul y bobl
a gafwyd gyd ag ef yng-hylch chwe chant o wŷr.
16 Canys Saul a Ionathan ei fab, a'r bobl y
rhai a gafwyd gyda hwynt oeddynt yn aros yn
Gibea Beniamin: a'r Philistiaid a wersyllasant
ym Micmas.
17 [s] Yna yr aeth allan o werssyll y Philistiaid
anrhaith-wŷr, a thair byddin, un fyddin a drodd
tu a ffordd Ophrah, tua gwlad Saul.
18 [t] A'r fyddin arall a drodd [tua] ffordd Beth-
horon, a'r drydedd fyddin a drodd [tua] ffordd
y terfyn sy'n edrych tua dyffryn Zeboim tua'r
anialwch.

2 Bren 19 [n] Ac ni cheid gôf drwy holl wlad Israel,
14 ,21.1 canys dywedase y Philistiaid [gwiliwn] rhac
m. 5,8 c. 4,6 gwneuthur o'r Hebreaid gleddyf neu waiwffon.
n 17,15 20 Yna holl Israel a aent i wared at y Philis-
m. 15, tiaid i flaen-llymmu bob un ei gwlltwr, ai gaib,
ei fwyall hefyd, ai chwynnogl.
21 Ond yr oedd llif-ddur [i wneuthur] minau
i'r cwlltyrau, ac i'r ceibiau, i'r pig-ffyrch hefyd,
ac i'r bwyill, ac i flaenllymmu y swmbylau.
22 [v] Felly yn nydd y rhyfel ni chaed yna na
Sam.5, chleddyf, na gwaiw-ffon yn llaw'r un o'r bobl y
n. 17, rhai [oeddynt] gyd a Saul, a chyd ag Ionathan:
Cor. 1, ond [yr hyn] a gaed gyd a Saul, ac Ionathan ei
n 7,9 fab ef.
23 A sefyllfa y Philistiaid a aeth allan i fwlch
Micmas.

## PEN. XIV.

*Ionathan ai eswein ef (yr hwn a oedd yn dwyn ei arfau ef) yn tarfu y Philistiaid.*

en.9, A [w] BU ddydd-gwaith i Ionathan fab Saul
1,22,3 ddywedyd wrth y llangc a oedd yn cludo
n.13, ei arfau ef, Tyret, ac awn trosodd at sefyllfa y
11,5 Philistiaid yr hon [sydd] o'r tu accw: ond ni
es. 5, fynegodd efe iw dâd.
a. 10, 2 [x] A Saul a arhosodd yng-hwrr Gibea tann
11 [brenn] pomgranad yr hwn [oedd] ym Migron:
22,9 a'r bobl y rhai [oeddynt] gyd ag ef [oeddynt]
yng-hylch chwe chan-wr.
1 21, 3 [y] Ac Ahia mab Ahitob frawd * Ichabod fab
n. 4, Phinees fab Eli offeiriad yr Arglwydd yn Silo
8,30 oedd yn dwyn yr Ephod: ond ni wydde y bobl
i Ionathan fyned ymmaith.
4 A rhwng y bylchau lle ceisiodd Ionathan
fyned trosodd at sefyllfa y Philistiaid [yr oedd]
yscithredd y graig o'r naill du i'r bwlch, ac ysci-
thredd y graig o'r tu arall i'r bwlch: ac enw y
naill [oedd] Bozez, ac enw y llall Seneh.
5 A safiad y naill yscithredd [oedd] oddi wrth
y gogledd tua Micmas, a'r llall oddi wrth y de-
hau tua Gibea.
17, 6 [z] Yna y dywedodd Ionathan wrth y llangc
2,18 yr hwn oedd yn dwyn ei arfau ef, Tyret, ac awn
7,7 trosodd at sefyllfa y rhai dienwaededic hyn, ond
4,12 odid fe a weithia'r Arglwydd gyd a ni: canys
ron nid [oes] rwystr i'r Arglwydd * waredu drwy
32 lawer neu drwy ychydig.
15,8 7 A chludydd ei arfau ef a ddywedodd wrtho
19, ef, Gwna'r hyn oll [sydd] yn dy galon: cerdda
rhagot, Wele fi gyd a thi fel y mynnech.
8 Yna y dywedodd Ionathan, Wele pan elom
ni trosodd at y gwŷr [hynny] ac ymddangos iddynt,
24, 9 [a] Os dywedant fel hyn wrthym, Arhoswch
6, nes i ni ddyfod attoch chwi: yna y safwn, yn ein
1 lle, ac nid awn i fynu attynt hwy.
24, 10 [b] Ond os fel hyn y dywedant, Deuwch i fynu
attom ni, yna'r awn i fynu, canys yr * Arg
lwydd ai rhoddes hwynt yn ein llaw ni: a hyn
[fydd] yn argoel i ni.
11 Felly'r ymddangosasant ill dau i sefyllfa y
Philistiaid; yna y Philistiaid a ddywedasant,
Wele'r Hebreaid yn dyfod allan o'r tyllau y rhai
y llechasant ynddynt.
12 [c] A gwŷr y sefyllfa a attebasant Ionathan, c Ioh. 3,1
a chludydd ei arfau ef, ac a ddywedasant, Deu- Pen. 27, 43
wch i fynu attom ni fel yr yspysom beth i chwi: Barn. 8,
yna y dywedodd Ionathan wrth gludydd ei ar- 16
fau, Tyret i fynu ar fy ôl, canys yr Arglwydd ai
rhoddes hwynt yn llaw Israel.
13 [d] Felly Ionathan a aeth i fynu ar ei ddwylo, d Sal. 18
ac ar ei draed, a chludydd ei arfau ar ei ol ef; a 29 Heb. 11,
hwy a syrthiasant o flaen Ionathan: ei eswyn 34 Pen. 13,
hefyd oedd yn lladd ar ei ol ef. 22
14 A [hon] oedd y blâ gyntaf [yn] yr hon y a 17, 15
tarawodd Ionathan a chludydd ei arfau yng-
hylch ugain-wr: megis o fewn yng-hylch hanner
cyfer dau [ychen] o dir,
15 [e] A bu fraw yn y gwerssyll, yn y maes, ac e Sal 48,5
ym mysc yr holl bobl, y rhai a aethent o'r sefyll- Ios. 2,9
fa i anrheithio: hwythau hefyd a ddychrynasant: Ios 18,11 Barn. 7, 22
y ddaiar hefyd a grynnodd am ei bod [wedi ei 2 Bren. 7, 17
tharo] a dychryn Duw. Dan. 5,6
16 Yna disgwil-wŷr Saul yn Gibea Beniamin 2 Sam. 5, 24
a edrychasant, ac wele y dyrfa a wascarodd, ac Lef. 26, 36, 37
a aeth, a [hynny] dan ymguro.
17 Am hynny y dywedodd Saul wrth y bobl
y rhai [oeddynt] gyd ag ef: Cyfrifwch yn awr, ac
edrychwch pwy a aeth oddi wrthym ni: pan
gyfrifasant, yna wele Ionathan a chludydd ei
arfau nid [oeddynt yno.]
18 [f] Yna y dywedodd Saul wrth Ahiah, Dwg f Barn. 1,
yma Arch Dduw; canys yr oedd Arch Dduw y 1 Ex. 28,30
pryd hynny gyda meibion Israel. Num. 27,
19 [g] A thra yr ydoedd Saul yn ymddiddan a'r 21 g Ios. 9,14
offeiriad, yna y terfysc yr hwn [oedd] yng-wers- Pen. 13, 11
syll y Philistiaid gan fyned a aeth, ac a amlha- Adn. 24 Barn. 7,
odd, am hynny y dywedodd Saul wrth yr off- 22
eiriad, Tynn attat dy law. * 2 Cron
20 * Yna yr ymgynhullodd Saul, a'r holl bobl y 20, 23
rhai [oeddynt] gyd ag ef, ac a ddaethant i'r rhy-
fel: ac wele gleddyf pob un yn erbyn ei gyfnesaf
[a] dinistr mawr odieth [oedd yno.]
21 Yr Hebreaid hefyd [y rhai] oeddynt gyd a'r
Philistiaid o'r blaen, y rhai a aethant i fynu gyd
a hwynt i'r gwrsyll oddi amgylch: ïe hwynt-hwy
hefyd [a droasant] i fod gyd a'r Israeliaid y rhai h Pen. 5,6
[oeddynt] gyd a Saul ac Ionathan. i Sal. 41,3 Hos. 1,7
22 [h] A holl wŷr Israel y rhai oeddynt yn lle- Pen. 13, 15
chu yn mynydd Ephraim a glywsant ffoi o'r j 2 Sam. 21 2
Philistiaid: a hwy ai herlidiasant hefyd oi hol yn Gal. 4,18 Diar. 11,
y rhyfel. 9
23 [i] Felly yr achubodd yr Arglwydd Israel y Barn. 11, 30
dydd hwnnw, a'r rhyfel a aeth tros Beth-afen. Adn 39, 40
24 [j] A gwŷr Israel oeddynt wedi eu gorthrym- Mat. 6,11 Rhuf. 3,8
mu [gan newyn] y dydd hwnnw, o herwydd a 10, 2

tynghedase Saul y bobl gan ddywedyd, Mell-
digedic [fyddo] y gŵr yr hwn a fwyttao fwyd
hyd yr hwyr, fel y dialwyf ar fyng-elynion:
felly nid archwaithodd yr un o'r bobl [ddim] bwyd.
kAdn. 29 25 [k] Yna yr holl wlad a ddaethant i goed, lle'r
Mat. 3, 5 Ex. 3, 8 oedd mêl ar hyd wyneb y tîr.
Num. 13, 27 26 Er dyfod y bobl i'r coed, ïe wele [lle'r o-
edd] mêl yn diferru: etto ni chododd [un] law
at ei enau, canys ofnase y bobl y llŵ.
27 Ond Ionathan ni chlywse pan dynghedase
ei dad ef y bobl, am hynny yr estynnodd efe
flaen y wialen yr hon [oedd] yn ei law ef, ac ai
gwlychodd yn nil y mêl: ac a drodd ei law at ei
*Mat. 3, 4 enau, * ai lygaid a oleuasant.
Pen. 30, 12 28 Yna un o'r bobl a fynegodd, ac a ddywed-
odd, Gan dyngu y tyngodd dy dad ti y bobl, gan
ddywedyd, Melldigedic [fyddo]'r gŵr yr hwn a
fwyttu fwyd heddyw: a'r bobl oedd ddeffygiol.
29 Yna y dywedodd Ionathan, Fy nhad a flin-
odd y wlad heddyw, gwelwch yn awr fel y gole-
uodd fy llygaid o herwydd i mi archwaethu y-
chydig o'r mêl hwn.
30 Pa faint mwy, pe bwyttase'r bobl heddyw o
anrhaith eu gelynion, yr hon a gawsant hwy, oni
buase yn awr fwy y dinystr y'mysc y Philistiaid?
lIos. 19, 42 2Cron. 11 10 31 [l] A hwy a darawsant ar y Philistiaid y dydd
hwnnw o Micmas [hyd] Aialon: a'r bobl a lwyr
ddeffygiodd.
m Lef. 3 17 a 17, 10 32 [m] A dychwelodd y bobl at yr anrhaith, ac a
a 7, 27 gymmerasant y defaid, a'r gwarthec, a'r lloi, ac
a 19, 22 ai lladdasant ar y ddaiar: a'r bobl a fwyttaodd
Deut. 12, 16 Adn 24 gyd a'r gwaed.
nRhuf. 2, 1 33 [n] Pan fynegasant hwy i Saul, gan ddywedyd,
Mat. 7, 5 Wele y bobl sy'n pechu yn erbyn yr Arglwydd,
Adn 34, 35 gan fwytta yng-hyd a'r gwaed: yna efe a ddyw-
edodd, Trosseddasoch, treiglwch attafi heddyw
faen mawr.
34 Dywedodd Saul hefyd, Ymwascerwch ym
mysc y bobl, a dywedwch wrthynt, Dygwch at-
tafi bob un ei ŷch, a phob un ei lwdn dafad, a
lleddwch [hwynt] yma, fel y bwyttaoch, ac na
phechoch yr erbyn yr Arglwydd, gan fwytta
yng-hyd a'r gwaed: a'r bobl oll a ddugasant
bob un ei ŷch yn ei law y noswaith honno, ac ai
lladdasant yno.
o Gen 8, 20 35 [o] Yna'r adailadodd Saul allor i'r Arglwydd:
Ios. 22. 10 hon a ddechreuodd efe [ei] hadailadu yn allor i'r
Pen. 7, 12 Arglwydd.
36 [p] A dywedodd Saul, Awn i wared ar ol y
p Num. 27, 21 Philistiaid liw nôs, ac ysclyfaethwn oddi arnynt
Preg. 5, 1 hyd oni oleuo'r boreu, ac na ollyngwn ymaith
un o honynt: hwythau a ddywedasant, Gwna
yr hyn oll [fyddo] da yn dy olwg: yna y dywed-
qBarn. 1, 1 odd yr offeiriad, Nessawn ymma at Dduw.
Adn 24, 29 37 [q] Yna y gofynnodd Saul i Dduw, A âfi i
Pen. 28, 6 wared ar ol y Philistiaid? a roddi di hwynt yn
llaw Israel? ond nid attebodd efe y dydd hwnnw.

38 Yna y dywedodd Saul, * Dynesswch ymma *Barn. 20, 2
holl bennaethiaid y bobl: mynnwch wybod
hefyd, ac edrychwch ym mhwy y mae y pechod 2Sam. 12, 3
hwn heddyw. Sal. 46. 9 Ios. 7, 13
39 Canys [megis] mai byw'r Arglwydd yr hwn
sydd yn gwaredu Israel, pe bydde hyn yn Io-
nathan fy mab, diau y llwyr roddid ef i farwol-
aeth: ac nid attebodd [neb] o'r holl bobl ef.
40 Dywedodd efe hefyd wrth holl Israel, Chwi
a fyddwch ar y naill du, minne hefyd, ac Ion-
athan fy mab fyddwn ar y tu arall: a dywdodd y
bobl wrth Saul, Gwna [a fydd] dâ yn dy olwg.
41 [r] Yna y dywedodd Saul wrth Arglwydd
Dduw Israel, Dod oleufyneg: a daliwyd Ionath
an a Saul, ond y bobl a aethant allan.
42 Dywedodd Saul hefyd, Bwriwch [goelbren]
rhyngofi, ac Ionathan fy mab: a daliwyd Ionathan.
43 Yna y dywedodd Saul wrth Ionathan, Myne-
ga imi betha a wnaethost? ac Ionathan a fynegodd
iddo ef, ac a ddywedodd: Gan archwaithu yr ar-
chwaithais ychydig o fêl ar flaen y wialen yr hon
[oedd] yn fy llaw, wele fi, a fyddafi farw?
44 [s] Dywedodd Saul hefyd, Felly gwneled Duw
[i mi] ac felly y chwaneged onid gan farw y
byddi di farw Ionathan.
45 [t] Yna y dywedodd y bobl wrth Saul, A le-
ddir Ionathan yr hwn a wnaeth yr ymwared
mawr hyn yn Israel? na atto Duw: [nid] byw
yr Arglwydd o syrth [un] o wallt ei ben ef i'r
ddaiar, canys gyda Duw y gweithiodd efe he-
ddyw: a'r bobl a waredasant Ionathan, fel na
laddwyd ef.
46 A Saul a ddaeth i fynu oddi ar ol y Philist-
iaid, a'r Philistiaid a aethant i'w lle eu hun.
47 [u] Felly y cynhaliodd Saul y frenhiniaeth ar
Israel, ac a ymladdodd oddiamgylch yn erbyn
meibion Ammon, ac yn erbyn Edom, yn erbyn
brenhinoedd Zobah hefyd, ac yn erbyn y Phil-
istiaid, ac yn erbyn pwy bynnac yr wynebodd,
efe ai gorchfygodd [hwynt.]
48 [v] Cynnullodd lû hefyd a tharawodd Ama-
lec, ac a waredodd Israel o law ei anrheithudd.
49 [w] A meibion Saul oeddynt Ionathan, a Ies-
sui, a Malchusiah: dyma henwau ei ddwy ferch-
ed ef, enw yr hynaf [oedd] Merab, ac enw yr
ieuangaf Michol.
50 Ac enw gwraig Saul [oedd] Ahinoam merch
Ahimaas: ac enw tywysog ei filwriaeth ef [oedd]
Abner mab Nêr, ewythr frawd ei dad i Saul.
51 [x] Cis hefyd [oedd] dad Saul: a Nêr tad Ab-
ner [oedd] fab Abiel.
52 [y] A bu ryfel caled yn erbyn y Philistiaid
holl ddyddiau Saul: a Saul a wele bob gŵr glew
a phob mab nerthol, ac ai cymmere atto ei hun.

## PEN. XV.

*Saul yn erbyn gorchymyn yr Arglwydd yn arbed Agag a'r anifeiliaid teccaf o'r eiddo yr Amaleciaid, 19 A Samuel yn ei geryddu ef am hynny.*

YNA y dywedodd Samuel wrth Saul, * yr
Pen9.16 Arglwydd a'm hanfonodd i i'th eneinio di
1.13 ih.6,11 yn frenin ar ei bobl, [sef] ar Israel: ac yn awr
gwrando ar lais geiriau yr Arglwydd.
en.40, 2 ᵃ Fel hyn y dywedodd* Arglwydd y lluoedd,
t.18,5 Cofiais yr hyn a wnaeth Amalec i Israel, y
x.17,8 modd y gosododd efe iw erbyn ar y ffordd,
m.24, pan ddaeth efe i fynu o'r Aipht.
at 16, 3 ᵃ Dos yn awr a tharo Amalec, a dinistria yr
1.3.17 hyn oll [sydd] ganddo, ac nac eiriach ef: ond
af. 8, lladd [hwynt] yn ŵr, ac yn wraig; yn ddyn-bach,
ac yn bleutyn sugno, yn ŷch, ac yn oen, yn
gamel ac yn assyn.
15,8 11,8 4 ᵇ Yna Saul a gynhullodd y bobl, ac ai cyf-
a.1,3 rifodd hwynt yn Telaim yn ddau cant mil o
wŷr traed, ac yn ddeng-mil o wŷr Iuda.
im 1 5 ᶜ A Saul a ddaeth hyd ddinas i Amalec, ac
a gynllwynodd yn yr afon.
m 1, 6 ᵈ Dywedodd Saul hefyd wrth y Ceneaid,
19, Cerddwch, ciliwch, ewch i wared o fysc yr Am-
18 4 aleciaid, rhac i mi eich destruwio chwi gyd a
1.24, hwynt, o herwydd ti a wnaethost drugaredd a
8.10 holl feibion Israel, pan ddaethant i fynu o'r
Aipht: a'r Ceneaid a ymadawsant o fysc yr
Amaleciaid.
21. 7 ᵉ Felly Saul a darawodd yr Amaleciaid o
8, Hafila [ffordd] y delech di i Sur, yr hon [sydd]
2,12 ar gyfer yr Aipht.
18 8 Ac a ddaliodd Agag brenin yr Amaleciaid
yn fyw: ac efe a laddodd yr holl bobl a min y
cleddyf.
n 3 1.20 9 ᶠ Ond Saul a'r bobl a arbedasant Agag, a'r
defaid goref, a'r ŷchen, a'r [gwarthec] breisiou, a'r
6, ŵyn, a'r hyn oll a [ydoedd] ddâ, ac ni fynnent
5,4 eu destruwio hwynt: a phôb peth gwael, a salw,
hwnnw a ddifrodasant hwy.
10 Yna y bu gair yr Arglwydd wrth Samuel
gan ddywedyd:
6,6 14, 11 ᵍ Edifar yw gennif osod Saul yn frenin, ca-
27, nys efe a ddychwelodd oddi ar fy ol i, ac ni
chyflawnodd fyng-eiriau i: yna y cyffrodd Sa-
23, muel, ac a lefodd ar yr Arglwydd ar hyd y nôs.
16,1 15, 12 ʰ Yna y cyfododd Samuel yn foreu i gy-
farfod Saul: a mynegwyd i Samuel gan ddywed-
yd, Daeth Saul i Garmel, ac wele, efe a osod-
odd iddo le, efe a amgylchodd hefyd, ac a
drammwyodd, ac a aeth i wared i Gilgal.
11 6,11 13 ⁱ A Samuel a ddaeth at Saul, a Saul a
27, ddywedodd wrtho ef, Bendigedic [fyddech] di
31 i'r Arglwydd, mi a gyflawnais air yr Arglwydd.
14 Yna y dywedodd Samuel, Beth yntef [yw]
brefiad y defaid hyn [sy] yn fyng-hlustiau i? a
beichiad y gwarthec, yr hwn yr ydwyf yn ei
glywed?
n 9 3,12 15 ʲ A Saul a ddywedodd, Oddi ar yr Amalec-
2,8 iaid y dugasant hwy, canys y bobl a arbedodd
12,2 5.4,6 y defaid goref, a'r ŷchen i aberthu i'r Arglwydd
dy Dduw: a'r rhan arall a ddifrodasom ni.
16 Yna y dywedodd Samuel wrth Saul, Bydd
foddlon, a mi a fynegaf i ti yr hyn a lefarodd
yr Arglwydd wrthifi neithwyr: Yntef a ddyw-
edodd wrtho ef, Llefara.
17 ᵏ A Samuel a ddywedodd, Ond pan [oedd- kPen.17, 21
it] ti yn fychan yn dy olwg dy hun [y gwnaed]
ti yn benn [ar] deuluoedd Israel? ac yr enein-
iodd yr Arglwydd di yn frenin ar Israel?
18 ˡ Ac yr anfonodd yr Arglwydd di i daith, lGen. 18, 13
ac y dywedodd wrthit, Dos a difroda y pech- Sal. 1, 1
aduriaid hynny, sef yr Amaleciaid, ac ymladd
iw herbyn nes it eu difa hwynt?
19 ᵐ Pa ham gan hynny na wrandewaist ar mPen.25 14
lais yr Arglwydd? eithr troaist at yr anrhaith, a Diar. 15, 27
gwnaethost ddrwg yng-olwg yr Arglwydd? Iudas 11
20 ⁿ A Saul a ddywedodd wrth Samuel, Yn nDiar.15 6
wîr mi a wrandewais ar lais yr Arglwydd, ac a Luc19,22
rodiais yn y ffordd yr hon i'm anfonodd yr Ar-
glwydd [iddi,] a dugum Agag brenin Amalec,
ac mi a ddifrodais yr Amaleciaid.
21 ᵒ Ond y bobl a gymmerth o'r yspail, y de- o Adn 24 Diar. 30, 20
faid, a'r gwarthec [sef] blaenion y difrodaeth, i
aberthu i'r Arglwydd dy Dduw yn Gilgal.
22 ᵖ A Samuel a ddywedodd: A [yw] ewyllys pIer.7,22 Diar.21,3
yr Arglwydd ar boeth offrymmau, neu ebyrth, Preg.5,1
megis ar wrando ei air ef: wele * gwrando sydd *Hos.6,6
well nac aberth, ac ufyddhau na brasder hyr- Esa.1, 13 Sal.58,13
ddod. Ma.9,19
23 ᑫ Canys anufydd-dod [sydd fel] pechod q Ios.22, 19
dewiniaeth, a throseddiad [sydd] anwiredd, a
delw-addoliaeth: o herwydd it fwrw ymmaith
gair yr Arglwydd, y bwriodd efe dithe o [fod]
yn frenin.
24 ʳ Yna y dywedodd Saul wrth Samuel, rEx.9,27
Pechais, canys troseddais air yr Arglwydd a'th Num.22, 34
eiriau dithe: o herwydd i'm ofni y bobl, a gwran- Mat.27,4
do ar eu llais hwynt. Diar. 28, 13
25 Ond yn awr cymmer ymmaith attolwg fy Adn 9 Ier.15,22
mhechod, a dychwel gyd a mi, fel yr addolwyf
yr Arglwydd.
26 ˢ A Samuel a ddywedodd wrth Saul, Ni sSal.15,1
ddychwelaf gyd a thi, canys bwriaist ymmaith Luc 24, 28
air yr Arglwydd, am hynny yr Arglwydd a'th Pen.2,30
fwriodd dithe ymmaith o fod yn frenin ar Israel.
27 Pan drodd Samuel i fyned ymmaith yntef a
ymaflodd yng-hwrr ei fantell ef, a hi a rwygodd.
28 ᵗ Yna y dywedodd Samuel wrtho ef, yr t1 Bren. 11,30
Arglwydd a rwygodd frenhiniaeth Israel oddi
wrthit ti heddyw, ac ai rhoddes i gymydog i ti
gwell na thi.
29 ᵘ O herwydd cadernid Israel ni ddywed uSal 48,1
gelwydd, ac nid edifarhâ: canys nid dŷn [yw] Tit. 1, 2 Adn 11
efe i edifarhau. Gen. 6, 6
30 ᵛ Yna y dywedodd [Saul,] Pechais, anrhyd- v Gen. 4, 16
edda fi attolwg yn awr ger bron henuriaid fy
mhobl, a cher bron Israel: a dychwel gyd a mi

fel yr addolwyf yr Arglwydd dy Dduw.
31 Felly Samuel a ddychwelodd ar ol Saul,
a Saul a addolodd yr Arglwydd.
w 1Thes. 5, 3 Dat. 18 7 Ier.48,44 32 w Yna y dywedodd Samuel, Cyrchwch at-
tafi Agag brenin yr Amaleciaid: ac Agag a
ddaeth atto ef yn hoiw; ac Agag a ddywedodd,
Chwerwder marwolaeth yn ddiau a aeth ym-
maith.
* Ex. 17, 11 Num. 14, 45 33 A Samuel a ddywedodd, * Fel y diblant-
odd dy gleddyf di wragedd, x felly y diblentir dy
x 1 Bren 19, 10 2Bren. 1, 10, 12 fam dithe ym mysc gwragedd: yna Samuel a
ddarniodd Agag ger bron yr Arglwydd yn Gilgal.
34 Felly Samuel a aeth i Ramah, a Saul a
aeth i fynu iw dŷ yn Gibea Saul.
y 2Bren. 8, 29 35 y Ac nid ymwelodd Samuel mwyach a
Saul hyd ddydd ei farwolaeth ef: ond Samuel a
*Gen.6,6 alarodd am Saul: * ac edifar fu gan yr Arglwydd
osod Saul yn frenin ar Israel.

## PEN. XVI.

*Duw yn peri i Samuel eneinio Dafydd yn frenin. 13 Ac yn rhoddi ei yspryd ei hun ar Ddafydd.*

zPen.15, 11 Pen. 10,1 Sal,78,70 Phil. 2,6 A'R z Arglwydd a ddywedodd wrth Samuel,
Pa hyd y galeri di am Saul, gan i mi ei
fwrw ef ymmaith o deyrnasu ar Israel? llanw dy
gorn ag olew, a dos, mi a'th anfonaf di at Isai y
Bethlehemiad, canys ym mysc ei feibion ef y
canfyddais i'm frenin.
aSal.112, 5 Mat.10,16 Barn. 13, 12 Pen 9,12 2 a A Samuel a ddywedodd, Pa fodd yr af? ca-
nys Saul a glyw, ac a'm lladd i: yna y dywed-
odd yr Arglwydd, Cymmer anner [o blith] y
gwartheg gyd a thi, a dywet, Deuthum i aberthu
i'r Arglwydd.
3 A galw ar Isai i'r aberth, a mi a yspyssaf iti
yr hyn a wnelech, fel yr eneiniech i mi yr hwn a
ddywedaf wrthit.
b Pen 13, 17 a 21, 1 Hos. 11, 10 1Bren. 9, 22 4 b Felly y gwnaeth Samuel yr hyn a archase
yr Arglwydd, ac a ddaeth i Bethlehem: ac he-
nuriaid y ddinas a ddychrynnasant wrth gyfar-
fod ag ef, ac a ddywedasant, Ai heddychlon [yw]
dy ddyfodiad?
cEx.19,10 5 c Ac efe a ddywedodd, Heddychlon: deuthum
i aberthu i'r Arglwydd, ymsancteiddiwch a deu-
wch gyd a mi i'r aberth: ac efe a sancteiddiodd
Isai, ai feibion, ac ai galwodd hwynt i'r aberth.
d 1 Bren 12, 26 Adn 7 6 d A phan ddaethant, yna efe a welodd Eliab,
ac a ddywedodd: Diau [ddyfod] ei eneiniog ger
bron yr Arglwydd.
eAdn 12 Sal. 147, 10 Adn 8, 9 7 e A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Samuel,
Nac edrych ar ei olwg ef, nac ar uchter ei gorph-
olaeth ef, canys gwrthodais ef: o herwydd nid
*Gen.3,6 2Cron.28 9 [edrych Duw ar] yr hyn a edrych dyn, * canys
dŷn a edrych ar y llygaid, ond yr Arglwydd a
Ier.11,20 a 17, 10, a 20, 12 Sal. 7, 10 edrych ar y galon.
8 Yna Isai a alwodd am Abinadab, ac a bar-
odd iddo ef fyned o flaen Samuel: a dywedodd
yntef, Ni ddewisodd yr Arglwydd hwn ychwaith.
9 Yna y gwnaeth Isai i * Samma ddyfod; a
dywedodd yntef, Ni ddewisodd yr Arglwydd
hwn ychwaith.
10 f Yna y parodd Isai i'w saith mab ddyfod ger
bron Samuel: a Samuel a ddywedodd wrth Isai,
Ni ddewisodd yr Arglwydd [yr un] o'r rhai hyn.
11 * Dywedodd Samuel hefyd wrth Isai, A ddar-
fu y plant? Yntef a ddywedodd, Yr ieuangaf etto
sydd yn aros, ac wele [y mae] efe yn bugeilio y
defaid: yna y dywedodd Samuel wrth Isai, Dan-
fon, a chyrch ef, canys nid eisteddwn ni i lawr,
nes ei ddyfod ef ymma.
12 h Yna yr anfonodd, ac y cyrchodd ef: ac
efe [oedd] wrid-coch a thêg yr olwg, a hardd o
wedd: a dywedodd yr Arglwydd, Cyfot, enein-
ia ef, canys dymma efe.
13 i Yna y cymmerth Samuel gorn yr olew,
ac ai heneiniodd ef yng-hanol ei frodyr, a daeth
* yspryd yr Arglwydd ar Ddafydd o'r dydd
hwnnw allan: yna Samuel a gyfododd, ac a
aeth i Ramah.
14 j Ond yspryd yr Arglwydd a giliodd oddi
wrth Saul: ac yspryd drwg oddiwrth yr Ar-
glwydd ai poenodd ef.
15 k A gweision Saul a ddywedasant wrtho ef,
Wele yn awr drwg yspryd Duw yn dy boeni di.
16 l Dyweded attolwg ein meistr ni [wrth] dy
weision [y rhai ydynt] ger dy fron [am] iddynt
geisio gŵr yn medru canu telyn, a bydded pan
ddelo drwg yspryd Duw arnat ti, yna iddo ef
ganu ai law, a [hynny] fydd da i ti.
17 Yna y dywedodd Saul wrth ei weision,
Edrychwch yn awr i mi [am] ŵr yn medru canu
yn ddâ, a dugwch ef attafi.
18 m Ac un o'r llangciau a attebodd, ac a ddy-
wedodd, Wele gwelais fab i Isai y Bethlehemiad
yn medru canu, ac yn gadarn [o] nerth, ac yn
rhyfel-wr, yn ddoeth o ymadrodd hefyd, ac yn
ŵr lluniaidd, a'r Arglwydd [sydd] gyd ag ef.
19 Yna yr anfonodd Saul gennadau at Isai,
ac a ddywedodd: Anfon attafi Ddafydd dy fab
yr hwn [sydd] gyd a'r praidd.
20 Ac Isai a gymmerth assyn [lwythoc] o fara
a chostreled o win, ac un mynn gafr, ac ai han-
fonodd gyd a Dafydd ei fab at Saul.
21 n A Dafydd a ddaeth at Saul, ac a safodd
ger ei fron ef; yntef ai hoffodd ef yn ddirfawr; ac
efe a aeth yn gludydd arfau iddo ef.
22 Yna Saul a anfonodd at Isai, gan ddywed-
yd, Arhosed Dafydd attolwg ger fy mron i,
canys efe a gafodd ffafor yn fyng olwg.
23 o A phan fydde [drwg] yspryd Duw ar Saul,
yna y cymmere Dafydd y delyn, ac y cane ai
[ddwylaw:] a bydde esmwythdra i Saul, a da
[oedd hynny] iddo ef, a'r yspryd drwg a gilie
oddi wrtho ef.

PEN. XVI. Adn. 23 "Esmwythdra i Saul;" nid oedd y delyn yn esmwythdra ond dros ychydig amser. Cydwybod dda sydd wledd oestadol! Y delyn sant a seinia byth, Ioan xvi. 22.

## PEN. XVII.†

*Y modd y gorchfygodd Dafydd Goliah.*

YNA ᵖ y Philistiaid a gasclasant eu byddinoedd i ryfel, ac a ymgynnullasant i Socho, yr hon [sydd] yn Iuda, ac a werssyllasant rhwng Socho, ac Azecah yng-hwrr Dammim.

2 Saul hefyd a gwŷr Israel a ymgasclasant, ac a werssyllasant yn nyffryn Elah: ac a luniaethasant ryfel yn erbyn y Philistiaid.

3 A'r Philistiaid oeddynt yn sefyll ar fynydd o'r naill du, ac Israel oeddynt yn sefyll ar fynydd o'r tu arall, a'r dyffryn [oedd] rhyngddynt.

4 ᵠ Yna y daeth gŵr rhyngddynt hwy o werssylloedd y Philistiaid, ai enw Goliath o Gath: ei uchter [oedd] chwe chufydd a rhychwant.

5 A helm o brês ar ei ben, a lluric emmoc a wiscodd efe, a phwys y lluric [oedd] bum mil o siclau prês.

6 A bottysau prês [oeddynt] am ei draed ef, a tharian prês rhwng ei yscwyddau.

7 A phaladr ei waiwffon ef [oedd] fel carfan gwehyddion, a blaen ei waiwffon ef [oedd] chwe-chant sicl o haiarn: a'r hwn oedd yn dwyn y tarian oedd yn myned o'i flaen ef.

8 Ac efe a safodd, ac a waeddodd ar fyddinoedd Israel, ac a ddywedodd wrthynt, I ba beth y deuwch i luniaethu rhyfel, onid [ydwyf] fi Philistiad? a chwithau yn weision i Saul? dewiswch i chwi ŵr i ddyfod i wared attafi.

9 Os efe a orchfyga wrth ymladd a mi, ac a'm lladd i, yna y byddwn ni yn weision i chwi: ond os myfi ai gorchfygaf ef, ac ai lladdaf ef, yna y byddwch chwi yn weision i ni, ac y gwasanethwch ni.

10 ʳ Y Philistiad hefyd a ddywedodd, Myfi a waradwyddais fyddinoedd Israel y dydd hwn, moeswch attaf ŵr fel y cyd-ymladdom ni.

11 Pan glybu Saul, a holl Israel y geiriau hynny [gan] y Philistiad, yna y brawychasant, ac yr ofnasant yn ddirfawr.

12 * A'r Dafydd hwn [oedd] fab i Ephratewr o Bethlehem Iuda, ai enw ef Isai, ac iddo ef [yr oedd] wyth o feibion: a'r gŵr [oedd] yn nyddiau Saul yn hên, yn dyfod ym mhlith [hên] ddynion.

13 ˢ A thri mab hynaf Isai a aethant [ac] a ddaethant ar ol Saul i'r rhyfel: ac enw ei dri mab ef y rhai a aethant i'r rhyfel [oeddynt] Eliab y cyntafanedic, ac Abinadab yr ail, a Samma y trydydd.

14 A Dafydd, hwnnw [oedd] ieuangaf: a'r tri hynaf a aethant ar ol Saul.

15 Dafydd hefyd a aeth,* ond efe a ddychwelodd oddiwrth Saul i fugeilio defaid ei dad yn Bethlehem.

16 Felly y Philistiad a nessaodd yn foreu, ac yn hwyr, ac a barhaodd ddeugain nhiwrnod.

17 ᵗ A dywedodd Isai wrth Ddafydd ei fab, Cymmer yr awr i'th frodyr epha o'r cras-ŷd hwn, a r dêc torth hyn: ac ar redeg dwg [hwynt] i'r gwerssyll at dy frodyr.

18 Dwg hefyd y dêc cossyn ir hyn i dywysog y mil, ac ymwel a'th frodyr mewn heddwch, a dwg [yn rhydd] eu gwystl hwynt.

19 Yna Saul, a hwythau, a holl wŷr Israel [oeddynt] yn nyffryn Elah yn ymladd a'r Philistiaid.

20 ᵘ Felly Dafydd a gyfododd yn foreu, ac a adawodd y defaid gyda cheidwad, ac a gymmerth [y pethau hynny,] ac a aeth megis y gorchymynnase Isai iddo ef: ac a ddaeth i'r gwerssyll, a'r llu a aethai allan i'r gâd, ac a floeddiasent yn y rhyfel.
u Pen 26, 5 Preg 3, 12 Sal. 46, 1

21 Canys Israel a'r Philistiaid a fyddinasent fyddin yn erbyn byddin.

22 ᵛ A Dafydd a adawodd y mûd oddiwrtho tanu law ceidwad y dodrefn: ac a redodd i'r fyddin, ac a ddaeth, ac a gyfarchodd ei frodyr.
v Gen. 17, 14 a 41, 16 Luc 19, 42 Mat. 15, 25

23 Pan oedd Dafydd yn ymddiddan a hwynt yna wele yr gŵr (yr hwn [oedd yn sefyll] rhwng y ddeu-lu) yn dyfod i fynu o fyddinoedd y Philistiaid (Goliath y Philistiad o Gath [oedd] ei enw ef,) ac efe a ddywedodd yr un fath eiriau, fel y clybu Dafydd.

24 A holl wŷr Israel pan welsant y gŵr hwnnw a ffoasant rhagddo ef, ac a ofnasant yn ddirfawr.

25 Dywedodd gwŷr Israel hefyd, Oni welsoch chwi y gŵr hwn yn dyfod i fynu? diau i waradwyddo Israel y mae yn dyfod i fynu: a'r gŵr yr hwn ai lladdo ef,* y brenin a gyfoethoga hwnnw a chyfoeth mawr, ei ferch hefyd a rydd efe iddo ef, a thŷ ei dad ef a wnaiff efe yn rhydd yn Israel.
* Ios. 15, 16 Dat. 2, 7, 17 a 3, 5, 12 Heb. 12, 1 2

26 ʷ Yna y llefarodd Dafydd wrth y gwŷr y rhai oeddynt yn sefyll gyd ag ef, gan ddywedyd, Beth a wneir i'r gwr yr hwn a laddo y Philistiad hwn? ac a dynn ymaith y gwaradwydd oddiar Israel? canys pwy [yw] y Philistiad dienwaededic hwn, pan waradwydde efe fyddinoedd y Duw byw?
w 2 Bren 19, 4 Deut. 5, 26 1 Thes. 1 9

27 A'r bobl a ddywedodd wrtho ef fel hyn, gan ddywedyd, Felly y gwneir i'r gwr yr hwn ai lladdo ef.

28 ˣ Ac Eliab ei frawd hynaf ef ai clybu ef pan oedd efe yn ymddiddan a'r gwŷr, a digter Eliab a enynnodd yn erbyn Dafydd, ac efe a ddywedodd, Pa ham y daethost i wared yma? a chyd a phwy y gadewaist yr ychydig ddefaid hynny yn yr anialwch? myfi a adwen dy falchder di, a drygioni dy galon di, canys i weled y rhyfel y daethost di i wared.
x Pen 1, 14 Marc 3, 21 Mat. 10, 36 Pen. 16, 7 1 Tim. 6, 8

29 ʸ Yna y dywedodd Dafydd, Beth a wneuthum i yn awr? onid oedd neges [i mi?]
y Adn 17

30 ᶻ Ac efe a ddychwelodd oddiwrtho ef at un arall, ac a ddywedodd yr un modd; a'r bobl ai hattebasant ef air yng-air [fel] o'r blaen.
z Barn. 18 25 a Rhuf. 15 1

31 ᵃ Pan glybuwyd y geiriau y rhai a lefarodd
Est 4, 16 Pen 14, 6 2 Cor. 5, 7

Dafydd, yna y mynegwyd hwynt ger bron Saul,
ac efe a barodd ei ddwyn ef [atto ef]
32 A Dafydd a ddywedodd wrth Saul, Na
lwfrhaed calon dyn erddo ef, dy wâs di a aiff,
ac a ymladd a'r Philistiad hwn.
b Num. 13, 31 Deut. 13, 4 33 [b] Yna y dywedodd Saul wrth Ddafydd, Ni
elli di fyned at y Philistiad hwn i ymladd ag ef,
canys llangc [ydwyt] ti, ac yntef sydd yn rhyf-
elwr o'i febyd.
34 A Dafydd a ddywedodd wrth Saul, Bug-
ail oedd dy wâs di ar ddefaid ei dad, pan ddaeth
y llew, a'r arth a chymmeryd oen o'r praidd:
c Barn. 14, 6 Luc 12, 21 1 Ioan 3, 8 27 2 Cor 1, 10 2 Tim. 4 35 [c] A mi a euthum ar ei ol ef, ac ai tarewais
ef, ac [ai] hachubais oi safn ef: pan gyfododd ef
im herbyn i, yna mi a ymaflais yn ei farf ef, ac
ai tarewais, ac ai lleddais ef.
36 Felly dy wâs di a laddodd y llew, a'r arth;
a'r Philistiad dienwaededic hwn fydd megis un
o honynt, canys efe a ammharchodd fyddinoedd
y Duw byw.
d Sal. 63, 7 a 77, 11 37 [d] Dywedodd Dafydd hefyd, Yr Arglwydd
yr hwn a'm hachubodd i o grafangc y llew, ac o
balf yr arth, efe a'm hachub i o law y Philistiad
hwn; yna y dywedodd Saul wrth Ddafydd, Dos,
a'r Arglwydd fyddo gyd a thi.
e Pen. 10, 23 38 [e] A Saul a wiscodd Ddafydd ai wiscoedd
ei hun, ac a roddodd helm o bres ar ei benn ef:
ac ai gwiscodd ef [mewn] lluric.
f Zec. 4, 6 Hos. 1, 7 2 Cor. 10, 4, 5 39 [f] Yna y gwregysodd Dafydd ei gleddyf ar
uchaf ei wiscoedd, ac a geisiodd gerdded am na
phrofase efe, yna y dywedodd Dafydd wrth
Saul, Ni allafi fyned yn y rhai hyn, canys ni
phrofais i: am hynny y dioscodd Dafydd hwynt
oddi am dano.
g Sal. 23, 4 Barn. 20, 16 1 Cor. 1, 27 40 [g] Yna y cymmerth efe ei ffon yn ei law, ac
a ddewisodd iddo bump o gerric llyfnion o'r
afon, ac ai gosododd hwynt yng-hôd y bugeiliaid
yr hon [oedd] ganddo, sef yn yr screpan: ai ffon
dafl [oedd] yn ei law ef: ac efe a nessaodd at y
Philistiad.
h Sal. 3, 3 Gen. 15, 1 41 [h] A'r Philistiad a gerddodd, gan fyned, a
nessau at Ddafydd; a'r gwr oedd yn cludo y tar-
ian oi flaen ef.
42 Pan edrychodd y Philistiad o amgylch, a
chanfod Dafydd, yna efe ai dremygodd ef, canys
llangc oedd efe, gwrid-coch, a theg yr olwg.
i Gen. 21, 7 43 [i] A'r Philistiad a ddywedodd wrth Dda-
fydd, Ai ci ydwyfi, gan dy fod yn dyfod attafi a
ffynn? a'r Philistiad a regodd Ddafydd drwy ei
dduwiau ef.
j Ex. 14, 2 44 [j] Y Philistiad hefyd a ddywedodd wrth
Ddafydd, Tyret attafi, a rhoddaf dy gnawd i
ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y maes.
k Diar. 18, 10 Sal. 60, 7 a 118, 10, 11 2 Cron. 32, 8 45 [k] Yna y dywedodd Dafydd wrth y Philis-
tiad, Ti ydwyt yn dyfod attafi a chleddyf, ac a
gwaiw-ffon, ac a tharian: minne ydwyf yn dyfod
attat ti yn enw Arglwydd y lluoedd, Duw
byddinoedd Israel yr hwn a gablaist ti.
46 [l] Y dydd hwn y dyru yr Arglwydd dydi
yn fy llaw i, a mi a'th darawaf di, ac a gymmer-
af ymmaith dy ben di oddi arnat ti, ac a roddaf
galanedd gwerssyll y Philistiaid y dydd hwn i
[m] ehediaid y nefoedd, ac i fwyst filod y ddaiar:
a holl [drigolion] y ddaiar â gant wybod fod
Duw i Israel.
47 [n] A'r holl gynnulleidfa hon a gânt wybod,
nad a chleddyf, nac a gwaiw-ffon y gwared yr
Arglwydd: canys eiddo yr Arglwydd [yw] y
rhyfel, ac efe a'ch rhydd chwi yn ein llaw ni.
48 A phan gyfododd y Philistiad, a dyfod a
nessau i gyfarfod Dafydd: yna y bryssiodd Da-
fydd, ac y rhedodd tu a'r fyddin i gyfarfod a'r
Philistiad.
49 [o] A Dafydd a estynnodd ei law i'r gôd, ac a
gymmerth oddi yno garrec, ac a chwrndaflodd,
ac a darawodd y Philistiad yn ei dalcen; a'r gar
rec a soddodd yn ei dalcen ef, ac efe a syrthiodd
i lawr ar ei wyneb,
50 Felly y gorthrechodd Dafydd y Philistiad,
a ffon-dafl, ac a charec, ac a darawodd y Philist-
iad, ac ai lladdodd ef; er nad [oedd] cleddyf yn
llaw Dafydd.
51 Yna y rhedodd Dafydd, ac a safodd ar y
Philistiad, ac a gymmerth gleddyf hwnnw, ac ai
tynnodd o'r wain, ac ai lladdodd ef, ac a dorrodd
ei benn ag ef; pan welodd y Philistiaid farw oi
cawr hwynt, yna y ffoasant hwy.
52 [p] A gwŷr Israel, ac Iuda a gyfodasant, ac
a floeddiasant, ac a erlydiasant y Philistiaid hyd
[y ffordd] y delech i'r dyffryn, ac hyd byrth Aca-
ron: a'r Philistiaid a syrthiasant yn archolledic
ar hyd ffordd Saarim, sef hyd Gath, ac hyd Acaron.
53 Yna meibion Israel a ddychwelasant o ymlid
ar ôl y Philistiaid: ac a anrheithiasant eu gwer-
sylloedd hwynt.
54 [q] A Dafydd a gymmerodd benn y Philisti
ad, ac ai dug i Ierusalem: ai arfau ef a osododd
efe yn ei babell.
55 [r] A phan welodd Saul Ddafydd yn myned
i gyfarfod a'r Philistiad, efe a ddywedodd wrth
Abner tywysog y filwriaeth, Mab i bwy [yw]'r
llangc hwn, Abner? ac Abner a ddywedodd
[Fel] mae yn fyw dy enaid O Frenin nis gwn.
56 Yna y dywedodd y brenin, †Ymofyn di mab
i bwy [yw]'r gwr ieuangc hwn.
57 [s] A phan ddychwelodd Dafydd o ladd y
Philistiad, yna Abner ai cymmerodd ef, ac ai dug
ef o flaen Saul: a phenn y Philistiad yn ei law.
58 A Saul a ddywedodd wrtho ef, Mab i bwy
[wyt] ti y gwr ieuangc? yna y dywedodd Dafydd,
Mab i'th wâs Isai y Bethlehemiad.

## PEN. XVIII.

*Y Gyfrilluch a oedd rhwng Ionathan a Dafydd. 11 Saul yn casau ac yn ofni Dafydd.*

.44, A [t] PHAN orphennodd efe ymddiddan a
.17, Saul, yna enaid Ionathan a ymglymmodd
wrth enaid Dafydd: fel y carodd Ionathan ef,
megis ei enaid ei hunan.
.16, 2 [u] A Saul ai cymmerth ef [atto] y diwrnod
7,5 hwnnw: ac ni adawodd iddo ddychwelyd i dŷ
ei dad.
3 Yna Ionathan a wnaeth gyfammod a Da-
fydd: o herwydd efe ai care megis ei enaid ei hun.
4 Ac Ionathan a ddioscodd y fantell yr hon
[oedd] am dano ei hun, ac ai rhoddes i Dda-
fydd, ai wiscoedd, ie hyd yn oed ei gleddyf, ai
fwa, ai wregys.
10, 5 [y] A Dafydd a aeth yn gall i ba [le] bynnac
4, 5 yr anfonodd Saul ef, a Saul ai gosododd ef ar
.6,5, y rhyfel-wŷr: ac efe oedd gymmeradwy yngolwg
yr holl bobl, ac yng-olwg gweision Saul hefyd.
.15, 6 [w] A bu (wrth ddyfod o honynt) pan ddych-
11, welodd Dafydd o ladd y Philistiaid, yna ddyfod
o'r gwragedd allan o holl ddinasoedd Israel dan
.148, ganu, a dawnsio i gyfarfod a'r brenin Saul: a
19, thympanau, a gorfoledd, ac ag [offer] tri-thant.
15, 7 [x] A'r gwragedd yn chware a ymatebent,
7,9, ac a ddywedent: *Tarawodd Saul ar ei filoedd,
21, a Dafydd ar ei fyrddiwn.
r13 8 [y] Am hynny y digiodd Saul yn ddirfawr,
a'r ymadrodd hwn oedd ddrwg yn ei olwg ef, ac
5, efe a ddywedodd, Rhoddasant i Ddafydd fyrdd-
1,10 44 iwn, ac i mi y rhoddasant filoedd: [beth] mwy
15,13 [a roddent] iddo ef, eithr y frenhiniaeth?
20, 9 [z] A bu Saul yn gwilied Dafydd o'r dydd
25 hwnnw allan.
1,9 10 [a] Bu hefyd drannoeth i ddrwg yspryd Duw
16, ddyfod ar Saul, ac efe a brophwydodd yng-
hanol y tŷ, yna Dafydd a ganodd ai law, fel o'r
18, blaen: a gwaiw-ffon [oedd] yn llaw Saul.
16, 11 [b] Yna Saul a siglodd y waiw-ffon, ac a
20, ddywedodd, Tarawaf trwy Ddafydd, a thrwy'r
pared: a Dafydd a giliodd ddwy-waith o'i
ŵydd ef.
12 A Saul a ofnodd rhac Dafydd: o herwydd
bod yr Arglwydd gyd ag ef, a chilio o honaw
ef oddi wrth Saul.
27, 13 [c] Am hynny Saul ai gyrrodd ef ymmaith
3,8 oddi wrtho ef, ac ai gosododd ef tano ei hun yn
dywysog [ar] fil: ac efe a lywodraethodd y bobl.
14 A bu Ddafydd gall yn ei holl ffyrdd: a'r
Arglwydd [oedd] gyd ag ef.
15 Pan welodd Saul ei fod ef yn gall iawn:
yna'r ofnodd efe rhacddo ef.
16 Eithr holl Israel, ac Iuda a garodd Dda-
fydd: am ei fod ef yn eu llywodraethu hwynt.
20, 17 [d] Yna y dywedodd Saul wrth Ddafydd,
Wele Merab fy merch hynaf, hi a roddafi i ti yn
wraig, yn unic bydd i mi yn fab nerthol, ac ym-
ladd ryfeloedd yr Arglwydd: (canys dywedase
Saul, Ni bydd fy llaw i yn ei erbyn ef, onid llaw
y Philistiaid fydd yn ei erbyn ef.)
18 [e] A Dafydd a ddywedodd wrth Saul, Pwy e2Sam.7,
[ydwyf] fi, a pheth [yw] fy mywyd [neu] dŷl- 18
wyth fy nhâd i yn Israel, fel y byddwn yn ddaw
i'r brenin?
19 [f] Eithr yn yr amser [y dylesid] rhoddi Me- fPen.2:
rab merch Saul i Ddafydd, yna hi a rhoddwyd 8 Barn. 7,
i Adriel y Meholathiad yn wraig. 22
20 Yna Michol merch Saul a garodd Dda-
fydd: a mynegasant [hynny] i Saul, a'r peth fu
foddlon ganddo.
21 [g] (A dywedodd Saul, Rhoddaf hi iddo ef, g Sal. 9,
fel y byddo hi iddo'n fagl, ac y byddo llaw y 16 a38,12
Philistiaid yn ei erbyn ef:) felly Saul a ddy- Sal. 7, 16
wedodd wrth Ddafydd, Drwy'r llall yr ymgy-
fathrechi a mi heddyw.
22 A Saul a orchymynnodd iw weision [fel
hyn:] Ymddiddenwch a Dafydd yn ddistaw, gan
ddywedyd, Wele y brenin sydd hoff ganddo
dydi, ai holl weision ef a'th garant di: yn awr
gan hynny ymgyfathrach a'r brenin.
23 [h] A gweision Saul a adroddasant wrth hGen. 34
Ddafydd y geiriau hyn: a Dafydd a ddywed- 12 Ex.22,16
odd, Ai yscafn [yw] yn eich golwg chwi ymgy- Deut 22, 29
fathrachu a brenin, a minne yn ŵr tlawd, a gwael? Adn. 2.
24 A gweision Saul a fynegasant iddo, gan
ddywedyd: Fel hyn llefarodd Dafydd.
25 [i] Yna y dywedodd Saul, Fel hyn y dywed- iGen. 29,
wch wrth Ddafydd, Nid yw y brenin yn ewyllys- 18 Adn. 24
io cynhyscaeth, onid [cael] cant o flaen-grwyn
y Philistiaid i ddial ar elynnion y brenin: (can-
ys Saul a feddyliodd am ladd Dafydd drwy
law y Philistiaid.)
26 Ai weision ef a fynegasant i Ddafydd y
geiriau hynn, a'r ymadrodd fu foddlon gan Dda-
fydd am ymgyfathrachu a'r brenin: ond ni
ddaethe yr amser.
27 Yna y cyfododd Dafydd, ac efe a aeth, ai
wŷr, ac a darawodd ddau cann-wr o'r Philistiaid,
a Dafydd a ddygodd eu blaen-grwyn hwynt,
ac ai cwbl dalasant i'r brenin, i ymgyfathrachu
a'r brenin: am hynny y rhoddes Saul Michol ei
ferch yn wraig iddo yntef.
28 Yna y gwelodd Saul, ac y gwybu mai'r
Arglwydd [oedd] gyd a Dafydd: a Michol
merch Saul ai carodd ef.
29 [j] A Saul a ofnodd fwy-fwy rhac Dafydd, jIob5,12.
a bu Saul yn elyn i Ddafydd byth. 13 Adn. 12
30 [k] Yna tywysogion y Philistiaid a aent all- kMat. 10
an, a phan elent hwy, Dafydd a fydde gallach 16 Sal.112,5
na holl weision Saul, ai enw ef oedd anrhydedd- Diar. 22, 1
us iawn. Pen. 2,30

## PEN. XIX.

*Ionathan yn rhybyddio Dafydd o gâs ei dad Saul iddo ef.* lPen. 18,
11 *Michol ei wraig yn ei achub ef.* 23 *Saul yn prophwydo wrth erlid Dafydd.* 5 Ier. 9, 3

YNA [l] y dywedodd Saul wrth Ionathan ei 2Tim. 3. 13
fab, ac wrth ei holl weision am ladd Da- Diar. 27, 4

fydd: ond Ionathan mab Saul oedd hôff iawn ganddo Ddafydd.

2 [m] Am hynny y mynegodd Ionathan i Ddafydd gan ddywedyd: Saul fy nhâd sy yn ceisio dy ladd di: ac yn awr ymgadw attolwg hyd y boreu, ac aros mewn [lle] dirgel, ac ymguddia.

3 A mi a âf allan, ac a safaf ger llaw fy nhâd yn y maes, yr hwn [y byddi] di ynddo, mi hefyd a ymddiddanaf a'm tad o'th blegit ti: ac mi a edrychaf beth [a ddywedo efe,] ac a fynegaf i ti.

4 [n] Ac Ionathan a ddywedodd yn dda am Ddafydd wrth Saul ei dad: ac a ddywedodd wrtho ef, Na pheched y brenin yn erbyn ei wâs, [sef] yn erbyn Dafydd, o herwydd na phechodd efe i'th erbyn di, ac o herwydd [bod] ei weithredoedd ef yn dda iawn i ti.

5 *Canys [o]efe a osodes ei einioes yn ei law, ac a darawodd y Philistiaid, a'r Arglwydd a wnaeth iechydwriaeth mawr i holl Israel, ti a welaist[hyn] ac a lawenychaist: pa ham gan hynny y pechi yn erbyn gwaed diniwed, gan ladd Dafydd yn ddi-achos?

6 [p] Yna Saul a wrandawodd ar lais Ionathan, a Saul a dyngodd, [Nid] byw yw'r Arglwydd os lleddir ef.

7 Felly Ionathan a alwodd ar Ddafydd, ac Ionathan a fynegodd iddo ef yr holl eiriau hyn: ac Ionathan a ddug Ddafydd at Saul, ac efe a fu ger ei fron ef megis cynt.

8 Yna y bu chwaneg o ryfel: a Dafydd a aeth allan ac a ymladdodd yn erbyn y Philistiaid, ac ai tarawodd hwynt a phla mawr, ac hwy a ffoasant rhagddo ef.

9 A drwg yspryd yr Arglwydd oedd ar Saul pan oedd efe yn eistedd yn ei dŷ, ai waiwffon yn ei law: a * Dafydd yn canu ai law.

10 [q] A chesiodd Saul daro ai waiwffon drwy Ddafydd, a thrwy yr pared, ond efe a giliodd o ŵydd Saul, ac yntef a darawodd y waiw-ffon yn y pared, a Dafydd a ffoawdd, ac a ddiangodd y noswaith honno.

11 [r] Saul hefyd a anfonodd gennadau i dŷ Ddafydd iw wilied ef, ac iw ladd ef y boreu: a Michol ei wraig ef a fynegodd i Ddafydd gan ddywedyd, Onid achubi dy enioes heno, y foru i'th leddir.

12 [s] Felly Michol a ollyngodd Ddafydd i lawr drwy'r ffenestr, ac efe a aeth, ac a ffodd, ac a ddiangodd.

13 Yna y cymmerodd Michol ryw ddelw, ac ai gosododd yn y gwely, a chlustog [o flew] geifr a osododd hi yn obennydd iddi: ac ai goblygodd a dillad.

14 Pan anfonodd Saul gennadau i ddala Dafydd: yna hi a ddywedodd,[Y mae] efe yn glâf.

15 Anfonodd Saul eilwaith gennadau i edrych

m Pen. 18, 1 Act. 23, 12
n Diar. 31, 9 Ex. 20, 13 Rhuf. 13, 3 Mat. 5, 16 Diar. 31, 31 Diar. 17, 13 Ier. 18, 20.
*Barn 12, 3 Pen. 28, 1 Sal. 119, 139
o Sal. 3, 8 Pen. 17, 49 Mat. 27, 4
p Adn. 10 Sal. 15, 4
*Pen 16, 14, 24 Pen. 18, 11
q Adn. 6 Diar. 26, 25 Iob 5, 14, 15 Diar. 21, 30
r Sal. 34, 19
s Ios. 2, 15 Act. 9, 24, 25 Esa. 54, 17

Dafydd, gan ddywedyd: Dygwch ef i fynu attafi yn ei wely, fel y lladdwyf ef.

16 Pan ddaeth y cennadau, yna wele y ddelw ar y gwely: a chlustog [o flew] geifr yn obennydd iddi.

17 [t] Yna y dywedodd Saul wrth Michol, Paham y twyllaist fi fel hyn, ac y gollyngaist fyngelyn i ddiangc? a Michol a ddywedodd wrth Saul, efe a ddywedodd wrthif, Gollwng fi, onid ê mi a'th laddaf di.

18 [u] Felly Dafydd a ffoawdd, ac a ddiangodd, ac a ddaeth at Samuel i Ramah, ac a fynegodd iddo yr hyn oll a wnaethe Saul iw erbyn ef, ac efe a aeth gyd a Samuel, ac a drigasant yn Naioth.

19 [v] A mynegwyd i Saul gan ddywedyd: Wele [y mae] Dafydd yn Naioth o fewn Ramah.

20 [w] Yna Saul a anfonodd gennadau i ddala Dafydd, pan welsant gynnulleidfa y prophwydi yn prophwydo, a Samuel yn sefyll, wedi ei osod arnynt hwy: yna yr oedd ar gennadau Saul yspryd Duw, fel y prophwydasant hwythau hefyd.

21 [x] Pan fynegasant [hyn] i Saul, yna efe a anfonodd gennadau eraill, a hwythau hefyd a brophwydasant: ac eilwaith y danfonodd Saul gennadau y drydedd waith, a phrophwydasant hwythau hefyd.

22 [y] Yna yntef hefyd a aeth i Ramah, ac a ddaeth hyd y ffynnon fawr yr hon [sydd] yn Sechu, ac efe a ofynnodd, ac a ddywedodd, Pa le [y mae] Samuel a Dafydd? ac [un] a ddywedodd, Wele [y maent hwy] yn Naioth o fewn Ramah.

23 Ac efe a aeth yno i Naioth yn Ramah: ac arno yntef hefyd y daeth yr un yspryd Duw, a chan fyned yr aeth, ac y prophwydodd, nes ei ddyfod i Naioth yn Ramah.

24 [z] Ac efe a ddioscodd ei ddillad, ac a brophwydodd hefyd ger bron Samuel, ac a syrthiodd i lawr yn noeth yr holl ddiwrnod hwnnw, a'r holl nôs: am hynny y dywedent, A ydyw Saul hefyd ym mysc y prophwydi?

## PEN. XX.

*Y cyfammod yr hwn a oedd rhwng Ionathan a Dafydd. 30 Saul yn digio wrth Ionathan o achos Dafydd. 36 Ionathan yn saethu tair saeth i rybuddio Dafydd.*

YNA [a] y ffoawdd Dafydd o Naioth yn Ramah, ac a ddaeth, ac a ddywedodd ger bron Ionathan, Beth a wneuthum? beth [yw] fy anwiredd, a pheth [yw] fy mhechod o flaen dy dad ti, gan ei fod ef yn ceisio fy einioes i?

2 Ac efe a ddywedodd wrtho, Na atto Duw, ni byddi farw, wele ni wnaiff fy nhad na pheth mawr, na pheth bychan heb [ei] fynegu i mi: pa ham gan hynny y cêle fy nhad y peth hyn oddi wrthifi? ni [wna efe] hyn.

Pen. 1, 3 [b] Yna Dafydd a dyngodd eilwaith, (ac a ddy-
l. 116, wedodd, Dy dad a ŵyr yn hyspys i mi gael
ffafor yn dy olwg di, am hynny y dywedodd,
Na chaffed Ionathan ŵybod hyn rhac ei dristau
ef:) cyn wired a bod yr Arglwydd yn fyw, a'th
enaid dithe yn fyw [nid oes] onid megis cam
'en.18, rhyngofi ag angeu.
4 [c] Yna y dywedodd Ionathan wrth Ddafydd,
Dywet beth [yw] dy ewyllys, a mi a'i cwblhaf
i ti.
Num. 10. 5 [d] A Dafydd a ddywedodd wrth Ionathan,
Wele [y dydd cyntaf o'r] mis [yw] foru, a minne
gan eistedd a ddylwn eistedd gyd a'r brenin i
fwytta: gollwng fi gan hynny fel yr ymguddiwyf
yn y maes hyd bryd nawn y trydydd [dydd.]
oan7, 6 [e] Os dy dad gan goffau a goffa am danaf:
r. 25, yna y dywedi, Dafydd gan ofyn a ofynnodd
a.9,12 [gennad] gennifi i redeg i Bethlehem ei ddinas
a.1,21 ei hun, canys * aberth blynyddawl [sydd] yno
en.18, 23,18 gan yr holl genedl.
22,12 7 Os fel hyn y dywed efe, Dâ, heddwch [sydd]
i'th was: ond os gan ddigio y digia efe, gwy-
bydd fod y malais wedi ei baratoi ganddo ef.
8 Felly y gwnei drugaredd a'th was * canys
mewn cyfammod yr Arglwydd y dugaist dy
was gyd a thi: ac od oes anwiredd ynofi, lladd
di fi, canys i ba beth y dygi di fi at dy dad?
9 Yna y dywedodd Ionathan, Na atto Duw
[hynny] i ti: canys os gan wybod y caf wybod
fod y malais wedi ei barottoi gan fy nhâd i ddy-
fod i'th erbyn, onis mynegwn i ti?
10 A Dafydd a ddywedodd wrth Ionathan, Pwy
a fynega i mi os ettyb dy dâd ti ddim yn galed?
11 Yna y dywedodd Ionathan wrth Ddafydd,
Tyret fel yr elom i'r maes: ac hwy a aethant ill
dau i'r maes.
a. 22, 12 [f] Dywedodd Ionathan hefyd wrth Dda-
r.20, fydd, Arglwydd Dduw Israel [fyddo tyst] y
chwiliafi [feddwl] fy nhâd yng-hylch y pryd
[hyn] y foru [neu] drennydd, ac os daioni [fydd]
Ieb. tu ag at Ddafydd, ac oni anfonaf yna attati fel
y mynegwyf it. †
ith 1, 13 [g] Fel hyn y gwnel yr Arglwydd i Ionathan
14,15 ac y chwanego: os da fydd gan fy nhad [ddwyn]
1.2,3 y drwg i'th erbyn yna y mynegaf it, ac a'th
ollyngaf fel yr elech mewn heddwch: a bydded
yr Arglwydd gyd a thi, megis y bu gyd a'm tad i.
14 Felly nid tra fyddwyfi byw, ac nid a mi
[yn unic] y gwnei drugaredd yr Arglwydd fel
na byddwyf marw:
Sam.9 15 [h] Ond na thorr ymmaith dy drugaredd a'm tŷ
mau fi byth, na phan ddestrowio'r Arglwydd el-
am.18 ynnion Dafydd bob un oddi ar wyneb y ddaiar.
16 [i] Felly y cyfammododd Ionathan a thŷ
15, Ddafydd [ac efe a ddywedodd:] Gofynned yr
9,5 Arglwydd oddi ar law gelynion Dafydd [en
25, camwedd ]

17 [j] Yna y chwanegodd Ionathan dyngu wrth jAdn 13, 2Sam.23, 7
Ddafydd, o herwydd efe ai care ef: (canys fel Pen.18,1
ei enaid ei hun y care efe ef.) 2 Sam. 1, 26
18 Ac Ionathan a ddywedodd wrtho ef, Y foru Diar. 17, 17
[yw'r dydd cyntaf o'r] mis, a thi a goffeir, am Rhuf 5,7
y bydd dy eisteddle yn wag.
19 Wedi i ti lechu dridieu yna tyret i wared
yn fuan, a thyret i'r lle yr hwn yr ymguddiaist
ynddo. * yn y dydd [y bu] y gwaith hyn [o'r *Pen.19, 2
blaen] ac aros wrth faen Ezel.
20 A mi a saethaf dair o saethau at [ei] ystlys
[ef:] fel pes gollyngwn [hwynt] at nôd.
21 Wele hefyd mi a anfonaf y llangc [gan ddy-
wedyd,] Dôs, cais y saethau: os gan ddywedyd
y dywedaf wrth y llangc, Wele y saethau [en-
nyd] oddi wrthit o'r tu ymma i ti dwg hwynt:
yna tyret ti, canys heddwch [sydd] i ti, ac ni
bydd dim [niwed, fel] mai byw yw'r Arglwydd.
22 Ond os fel hyn y dywedaf wrth y bachgen,
Wele y saethau [ennyd] oddi wrthit o'r tu
hwnt: dos ymaith, canys yr Arglwydd a'th
anfonodd ymmaith.
23 Am y peth yr hwn a leferais i, mi a thi:
wele'r Arglwydd [fyddo] rhyngofi a thi yn
dragywydd.
24 [k] Felly'r ymguddiodd Dafydd yn y maes, k Adn. 5
a phan oedd y dydd cyntaf o'r mis, y brenin a
eisteddodd wrth y bwyd i fwytta.
25 [l] Ie y brenin a eisteddodd ar ei eisteddfa, lNum.24 1
megis ar amseroedd eraill, [sef] ar yr eisteddfa
wrth y pared, ac Ionathan a gyfododd, ac Abner Barn 6,4 Diar.1,17
a eisteddodd wrth ystlys Saul: a lle Dafydd oedd a 23, 6 Sal.14, 4
wag.
26 [m] Ac nid yngênodd Saul ddim y diwrnod mLef. 11
hwnnw: canys meddyliodd [mai] damwain 24a15,16
[oedd] hyn, am nad [oedd] efe lân, o herwydd a 17, 19, 21
[ei fod] yn aflan [ni ddaeth.]
27 [n] A bu drannoeth, yr ail [dydd] o'r mis fod nPen.19,
lle Dafydd yn wag: yna y dywedodd Saul wrth 9, 15, 20, 23
Ionathan ei fâb, Pa ham na ddaeth mab Isai at Diar. 30, 20,
y bwyd na doe, na heddyw? Pen, 25, 10 a 22, 9
28 Yna Ionathan a attebodd Saul: Dafydd Mat.6,11
gan ofyn a ofynnodd i mi [am gael myned] hyd Adn. 24
Bethlehem.
29 [o] Canys efe a ddywedodd, Gollwng fi atto- oPen. 9, 12
lwg, o herwydd ein tylwyth ni [ydynt yn off-
rymmu] aberth yn y ddinas, a'm brawd yntef
a'm gwahoddod i, ac yn awr o chefais ffafor yn
dy olwg di, gad i'm fyned attolwg, fel y gwel-
wyf fy mrodyr: o herwydd hyn ni ddaeth efe i
fwrdd y brenin.
30 [p] Yna y llidiodd digter Saul yn erbyn pMat. 10 37
Ionathan, ac efe a ddywedodd wrtho, [Ti] fab y Act.4,19
gyndyn wrthnyssic, oni wyddwn i ti ddewis Eph. 6, 1
mab Isai yn waradwydd it, ac yn gywilydd [a]
gwarth i'th fam.
31 Canys yr holl ddyddiau ar y byddo mab

Isai yn fyw ar y ddaiar, ni'th sicrheuir di na'th
deyrnas: yn awr gan hynny, anfon, a chyrch ef
attaf, canys marwolaeth [a gaiff] efe.
q Diar.31, 9 32 q Yna Ionathan a attebodd Saul ei dad, ac
Luc 7, 5 a ddywedodd wrtho: Pa ham y bydd efe marw?
Adn. 17 beth a wnaeth efe?
33 Yna Saul a ergydiodd y waiw-ffon tu ag
atto ef, iw daro ef: wrth hyn y gwybu Ionathan
[fod] y bwriad ymma gan ei dad ef, sef lladd
Dafydd.
34 Felly Ionathan a gyfododd oddi wrth y
bwrdd mewn llid digllawn: ac ni fwyttâodd
fwyd yr ail dydd o'r mis, canys gofidiodd dros
Ddafydd, o herwydd iw dad ei waradwyddo ef.
r Adn.19, 35 r A'r borau, yr aeth Ionathan i'r maes er-
byn yr amser a osodase ef i Ddafydd: a bachgen
bychan gyd ag ef.
36 Ac efe a ddywedodd wrth ei fachgen, Rhed,
cais yn awr y saethau, y rhai'r ydwyfi yn eu
saethu: y bachgen a redodd, yna yntef a saeth-
odd saeth gan gyrheuddyd trosto ef.
37 Pan ddaeth y bachgen hyd y fan [yr oedd]
y saeth yr hon a saethase Ionathan: yna y llef-
odd Ionathan ar ol y bachgen, ac a ddywedodd,
Onid [yw] y saeth ennyd oddi wrthit o'r tu hwnt?
38 Llefodd Ionathan drachefn ar ol y bachgen,
Cyflymma, bryssia, na saf: yna bachgen Ionathan
a gasclodd y saethau, ac a ddaeth at ei feistr.
39 A'r bachgen ni ŵydded ddim, onid Iona-
than a Dafydd a wyddent y peth.
40 Yna Ionathan a roddes ei offer at y bach-
gen yr hwn [oedd] gyd ag ef, ac a ddywedodd
wrtho ef, Dos, dûg [y rhai hyn] i'r ddinas.
s Sal.84,1 41 s Y bachgen a aeth ymmaith, yna Dafydd
3 a 42, 1 a gyfododd o'r tu dehau [i'r maen,] ac a syrth-
a 144,1,2, iodd i lawr ar ei wyneb, ac a ymgrymmodd dair
gwaith: a hwy a ymgusanasant bob un ei gi-
lydd, ac a ŵylasant y naill wrth y llall, a Da-
fydd a ragorodd.
t Rhuf. 5, 42 t Yna y dywedodd Ionathan wrth Dda-
1 Phil. 4,7 fydd, Dos mewn heddwch: yr hyn a dyngasom
Esa. 11,6 ni ein dau yn enw'r Arglwydd, gan ddywedyd,
Act.4,32 Hos.2,18 Yr Arglwydd fyddo rhyngofi a thi, a rhwng fy
Num. 6, 26 had i, a'th had dithe, [safed hynny] yn dragy-
Luc.2,11 wydd.
Pen. 23, 18, 19 43 Yna [Dafydd] a gyfododd ac a aeth ym-
maith, ac Ionathan a ddaeth i'r ddinas.

## PEN. XXI.

*Dafydd yn cael gan Ahimelec yr offeiriad y bara gosod i'w fwytta, a chleddyf Goliath i'w wisco.*

u 1Bren. 1, 26 YNA u y daeth Dafydd i Nob at Ahimelec
Marc 2, yr offeiriad, ac Ahimelec a ddychrynnodd
26 Pen.16,4 wrth gyfarfod â Dafydd, ac a ddywedodd wrtho
Mat.12,3 ef: Pa ham yr ydwyt yn unic, ac heb neb gyd
a thi?
v 1Bren. 8, 46 2 v Yna y dywedodd Dafydd wrth Ahimelec
yr offeiriad, Y brenin a orchymynnodd i mi
beth, ac a ddywedodd wrthif, Na chaed neb
ŵybod ddim o'r peth [am] yr hyn i'th anfonais,
ac [am] yr hwn y gorchymynnais i ti: a'r llangc-
iau a gyfarwyddais i i'r lle a'r lle.
3 Ac yn awr beth sydd dann dy law? dod i
mi bump torth: neu ['r peth] a geffir.
4 * A'r offeiriad a attebodd Ddafydd, w ac a ddy-
wedodd, Nid [oes] fara cyffredin tan fy llaw i:
eithr y mae bara cyssegredic [ymma,] os y
llangciau a ymgadwasant yn enwedig oddi wrth
wragedd.
5 x Yna'r attebodd Dafydd yr offeiriad ac a
ddywedodd wrtho, Diau attal gwragedd oddi
wrthym ni er ys dau ddydd neu dri, er pan gych-
wynnais i, llestri y llangciau hefyd ydynt yn
sanctaidd, er [bod] y ffordd honno yn halogedic,
etto diau y sancteiddir [y bara] heddyw yn y llestri
6 y Felly yr offeiriad a roddes iddo ef [y bara]
sanctaidd, canys nid oedd yno fara, onid bara
gosod yr hwn a dynnasid ymmaith oddi ger
bron yr Arglwydd i osod bara poeth yn y dydd
y tynnid ef ymmaith.
7 z Ac yr oedd yno y diwrnod hwnnw un o
weision Saul yn aros ger bron yr Arglwydd ai
enw Doeg yr Edomiaid, y pennaf o'r bugeiliaid
y rhai [oeddynt] gan Saul.
8 A dywedodd Dafydd wrth Ahimelec, Onid
oes ymma tann dy law di waiw-ffon, neu gle-
ddyf? canys ni chymmerais fyng-hleddyf, na'm
harfau ychwaith i'm llaw, o herwydd bod gor-
chymyn y brenin ar ffrŵst.
9 Yna y dywedodd yr offeiriad, Cleddyf Go-
liath y Philistiad yr hwn a leddaist di yn nyffryn
* Elah, wele ef wedi ei oblygu mewn brethyn
o'r tu ol i'r Ephod: o chymmeri hwnnw i ti
cymmer: canys nid [oes] ymma arall onid
hwnnw: a Dafydd, a dywedodd, Nid [oes] o
fath hwnnw, dyro ef i mi.
10 a Dafydd hefyd a gyfododd, ac a ffôdd y
dydd hwnnw o ŵydd Saul: ac a ddaeth at A-
chis brenin Gath.
11 Yna gweision Achis a ddywedasant wrtho
ef, Onid hwn yw Dafydd * brenin y wlad? onid
i hwn y canasant yn y dawnsiau gan ddywed-
yd, Saul a laddodd ei filoedd, a Dafydd ei
fyrddiwn?
12 b A Dafydd a osododd y geiriau hynny yn
ei galon: ac a ofnodd yn ddirfawr rhac Achis
brenin Gath.
13 Ac efe a newidiodd ei ymadrodd yn ei
gŵydd hwynt, ac a gymmerth arno ynfydu rhwng
eu dwylo hwynt, ac a scribliodd ar ddrysau y
porth, ac a ollyngodd ei boeryn i lawr ar ei farf.
14 c Yna y dywedodd Achis wrth ei weision,
Wele gwelwch y gŵr yn gwallgofi, pa ham y
dugasoch ef attafi?
15 [Ai] eisieu ynfydion sydd arnafi, pan ddug-

asoch hwn i ynfydu o'm blaen i? a gaiff hwn
ddyfod i'm tŷ i?

## PEN. XXII.

*Pa wŷr a ddaethant at Ddafydd yn ei herwriaeth.*

al. 34, YNA [d] Dafydd a aeth ymmaith oddi yno, ac
a 56, a ddiangodd i ogof Adulam: pan glybu
.12,15 um.23, ei frodyr ef, a holl dŷ ei dad ef [hynny,] yna
n.16,3 hwy a ddaethant i wared atto ef yno.
at.11, 2 [e] Ymgynnullodd hefyd atto ef bob gŵr hel-
.72.12 bulus, a phob gŵr a'r a oedd mewn dyled, a
t. 18, phob gŵr cystuddiedic o feddwl, ac efe a fu yn
b.2,10 dywysog arnynt hwy: ac yr oedd gyd ag ef
ynghylch pedwar cant o wŷr.
m.11 3 [f] A Dafydd a aeth ymaith oddi yno i Mispah
n. 14, Moab, ac a ddywedodd wrth frenin Moab,
th 2,1 Deled attolwg fy nhad, a'm mam [i aros] gyd a
, 17 chwi, hyd oni wypwyf beth a wnêl Duw i mi.
n. 47, 4 Ac efe a'i dug hwynt ger bron brenin Moab:
.20,12 ac arhosasant gyd ag ef yr holl ddyddiau tra fu
Dafydd yn yr amddeffynfa.
Sam. 5 [g] Yna Gad y prophwyd a ddywedodd wrth
11 Cron. Ddafydd, Nac aros yn yr amddeffynfa, dôs ym-
9 il.4,8 maith a cherdda rhagot i wlad Iuda: felly Da-
.13,25 fydd a ymadawodd, ac a ddaeth i goed Hareth.
ut.8,2 6 Pan glybu Saul fod Dafydd yn adnabydd-
us a'r gwŷr y rhai [oeddynt] gyd ag ef: yna
Saul oedd yn aros yn Gibea, tann y pren yn
Ramah, a'i waiw-ffon yn ei law, a'i holl weision
yn sefyll o'i amgylch.
en.20, 7 [h] A Saul a ddywedodd wrth ei weision y
.8,14 rhai oeddynt yn sefyll o'i amgylch, Clywch at-
tolwg feibion Iemini: a ddyru mab Isai i chwi
oll feusydd, a gwin-llanoedd? [a] esyd efe chwi
oll yn dywysogion miloedd, ac yn dywysogion
cantoedd?
en.18, 8 [i] Canys chwi oll a gyd-fwriadasoch i'm her-
n.4,14 byn i, ac nid oedd a fynege i mi, pan wnaeth fy
mab gyngrair a mab Isai; ac nid oes [neb] o
ohonoch yn dolurio o'm plegit, nac yn datcuddio
i'm clust ddarfod i'm mab annog fyng-was yn
gynllwyn-wr i'm herbyn, megis y dydd hwn.
ec.22 9 [j] Yna yr attebodd Doeg yr Edomiad, (yr
.14,3 hwn oedd wedi ei osod ar weision Saul) ac a
ddywedodd, Gwelais fab Isai yn dyfod i Nob
at Ahimelec fab Ahitob.
al.52, 10 [k] Ac efe a ymgynghorodd trosto ef a'r Arg-
.9, 3 lwydd, ac a roddes fwyd iddo ef: cleddyf Go-
n. 3 liath y Philistiad a roddes efe hefyd iddo ef.
nf.3, 11 [l] Yna'r anfonodd y brenin i alw am Ahi-
melec fab Ahitob yr offeiriad, a holl dŷ ei dâd
ef [sef] yr offeiriaid y rhai [oeddynt] yn Nob: a
hwynt oll a ddaethant at y brenin.
12 A Saul a ddywedodd, Gwrando yn awr mab
Ahitob: dywedodd yntef, Wele fi fy arglwydd.
dn.9, 13 [m] Yna y dywedodd Saul wrtho ef, Pa ham
ar. 19, 9 y cydfwriadasoch i'm herbyn i, ti a mab Isai?
. 119, gan roddi iddo fara, a chleddyf, ac ymgynghori
a Duw trosto ef, fel y cyfode yn fy erbyn yn
gynllwyn-wr megis [y gwelir] heddiw.
14 [n] Ac Ahimelec a attebodd y brenin, ac a n Pen.21
ddywedodd, Pwy ym mysc dy holl weision di 2
[sydd] mor ffyddlon a Dafydd? ac yn ddaw i'r
brenin, ac yn myned mewn ufydd-dod it, ac yn
anrhydeddus yn dy dŷ di?
15 Ai'r dydd [hwnnw] y dechreuais i ym-
gynghori a Duw trosto ef: na atto Duw i mi
[frâdfwriadu i'th erbyn:] na osoded y brenin
ddim yn erbyn ei wâs, [nac] yn erbyn neb o dŷ
fy nhâd, canys ni ŵybu dy wâs di o'r peth hyn
oll, [nac] ychydic na llawer.
16 [o] Yna y dywedodd y brenin, Gan farw y o Diar.28 15
byddi farw Ahimelec: tydi a holl dŷ dy dâd. Ex. 1,12, 13
17 [p] A'r brenin a ddywedodd wrth y rhedeg- Est.3,8,9
wŷr y rhai oeddynt yn sefyll o'i amgylch ef, Troi- Mat.2,16
wch, a lleddwch offeiriaid yr Arglwydd, canys Seph. 3,3 Act.12,1, 2
[y mae] eu llaw hwynt hefyd gyd a Dafydd, ac o Pen.2,30
herwydd iddynt ŵybod ffoi o honaw ef, ac na fy- p Adn. 13 1Bren.21
negasant i mi: ond ni fynne gweision y brenin es- 10. 15
tyn eu llaw i ruthro yn erbyn offeiriaid yr Ar- Ex. 1, 17 Act. 4,19
glwydd. Rhuf.13, 5
18 [q] Yna y dywedodd y brenin wrth Ddoeg, q Sal.52,1 4
Tro di, a rhuthra yn erbyn yr offeiriaid: yna Ex.28,42
Doeg yr Edomiad a drôdd, ac efe a ruthrodd yn Pen.2,28
erbyn yr offeiriaid, ac a laddodd y diwrnod Act.4,28
hwnnw bump a phedwar ugain o wŷr yn dwyn
Ephod liain.
19 [r] Efe hefyd a darawodd Nob dinas yr off- r Pen15,9
eiriaid a mîn y cleddyf, yn ŵr, ac yn wraig, yn
ddyn-bach ac yn blentyn sugno: yn ŷch hefyd,
ac yn assyn, ac yn oen, â min y cleddyf.
20 [s] Ond un mab i Ahimelec fab Ahitob a ddi- s Pen. 2, 32, 34
angodd, (ai enw ef [oedd] Abiathar:) ac a ffôdd 1Bren.2,
ar ôl Dafydd. 32
21 Ac Abiathar a fynegodd i Ddafydd ddar-
fod i Saul ladd offeiriaid yr Arglwydd.
22 [t] Yna y dywedodd Dafydd wrth Abiathar, t Sal. 44,
Gwybûm y dydd hwnnw pan [oedd] Doeg yr 22
Edomiad yno, gan fynegu y mynege efe i Saul:
Myfi fum yn achos [marwolaeth] i holl dylwyth
tŷ dy dâd ti.
23 Aros gyd a mi, nac ofna, canys yr hwn a
geisio fy enaid i, a gais dy enaid tithe: o her-
wydd [mewn] cadwraeth [y byddi] di gyd a mi.

## PEN. XXIII.

*Dafydd yn tarfu y Philistiaid oddi wrth Ceila. 7 Saul yn dyfod tu a Cheila yn erbyn Dafydd, 27 ac yn gorfod iddo droi yn erbyn y Philistiaid.*

PAN [u] fynegasant hwy i Ddafydd gan ddy- u Pen.22, 5
wedyd, Wele y Philistiaid yn ymladd yn Ios.15,44
erbyn Ceila, ac y maent hwy yn anrheithio'r ys- v Pen.22,
cuboriau: 5 Adn. 6
2 [v] Yna y gofynnodd Dafydd i'r Arglwydd Ier.10,23
gan ddywedyd, A âf i, ac a darawaf y Philistiaid Barn.1,1 Ios. 9, 14
hynn? a'r Arglwydd a ddywedodd wrth Dda- Ezra8,20 21

fydd, Dos, a tharo y Philistiaid, ac achub Ceila.

3 ʷ A gwŷr Dafydd a ddywedasant wrtho ef, Wele ni yn ofnus ymma yn Iuda: pa faint fwy os awn i Ceila yn erbyn byddinoedd y Philistiaid?

4 Yna Dafydd eilwaith a ymgynghorodd a'r Arglwydd, a'r Arglwydd ai hattebodd ef: ac a ddywedodd, Cyfod, a dos i wared i Geila, canys myfi sydd yn rhoddi y Philistiaid yn dy law di.

5 A Dafydd ai wŷr a aethant i Geila, ac a ymladdodd a'r Philistiaid, ac a ddug eu gwartheg hwynt, ac ai tarawodd hwynt a phlâ mawr: felly y gwaredodd Dafydd drigolion Ceila.

6 ˣ (A bu pan * ffoawdd Abiathar mab Ahimelec at Ddafydd i Geila, ddwyn o honaw ef Ephod yn ei law)

7 ʸ A mynegwyd i Saul ddyfod Dafydd i Geila: a dywedodd Saul, Duw ai rhoddes ef yn fy llaw i, canys caewyd arno ef pan ddaeth i ddinas a phyrth ac a barrau [iddi.]

8 Yna Saul a gyhoeddodd ryfel i'r holl bobl: gan fyned i wared i Geila i warche ar Ddafydd, ac ar ei wŷr ef.

9 Pan wybu Dafydd fod Saul yn bwriadu i'w erbyn ef y drwg hwn: yna efe a ddywedodd wrth Abiathar yr offeiriad, dŵg yr Ephod.

10 ᶻ Yna y dywedodd Dafydd, O Arglwydd Dduw Israel, gan glywed y clybu dy wâs fod Saul yn ceisio dyfod i Geila i ddestruwio y ddinas er fy mwyn i.

11 ᵃ A ddyru arglwyddi Ceila fi yn ei law ef? a ddaw Saul i wared megis y clybu dy wâs di? O Arglwydd Dduw Israel mynega attolwg i'th wâs: a'r Arglwydd a ddywedodd, Efe a ddaw i wared.

12 ᵇ Yna y dywedodd Dafydd, a ddyru arglwyddi Ceila fyfi a'm gwŷr yn llaw Saul? a'r Arglwydd a ddywedodd, Rhoddant.

13 ᶜ Yna y cyfododd Dafydd a'i ddynion, [y rhai oeddynt] yng-hylch chwe chant o wŷr, ac a aethant o Geila, ac a rodiasant lle y gallasant: a mynegwyd i Saul fod Dafydd wedi diangc o Geila, ac efe a beidiodd a myned.

14 ᵈ A Dafydd a arhosodd yn yr anialwch mewn amddeffynfeudd, ac a arhôdd mewn mynydd yn anialwch Ziph: a Saul a'i ceisiodd ef bob dydd, ond ni roddes Duw ef yn ei law ef.

15 Yna y gwelodd Dafydd fod Saul wedi myned allan i geisio ei einioes ef: a Dafydd [oedd] yn anialwch Ziph mewn coed.

16 ᵉ Yna Ionathan mab Saul a gyfododd, ac a aeth at Ddafydd i'r coed: ac ai cynnorthwyodd ef yn Nuw.

17 ᶠ Dywedodd efe hefyd wrtho ef, Nac ofna: canys llaw Saul fy nhad ni'th gaiff di, a thi a deyrnasi ar Israel, a minne a fyddaf yn nessaf ar dy ôl di, a Saul fy nhad sydd yn gwybod hyn hefyd.

18 ᵍ Felly hwynt ill dau a wnaethant gyfammod ger bron yr Arglwydd: a Dafydd a arhosodd yn y coed, ond Ionathan a aeth ymmaith i'w dŷ ei hun.

19 ʰ Yna y daeth y Ziphiaid i fynu at Saul i Gibea gan ddywedyd: Onid yw Dafydd yn ymguddio gyd a ni mewn amddeffynfeudd yn y coed, ym mryn Hachila yr hwn [sydd] o'r tu dehau i'r diffaethwch?

20 ⁱ Ac yn awr O frenin tyret i wared yn ôl holl ddymuniad dy galon: a [bydded] arnom ni ei roddi ef yn llaw y brenin.

21 ʲ Yna y dywedodd Saul, Bendigedic [fyddoch] chwi i'r Arglwydd: canys tosturiasoch wrthif.

22 ᵏ Ewch attolwg, parattoiwch etto, mynnwch wybod hefyd, ac edrychwch am ei gynniweirfa ef, lle y mae efe yn trammwyo, [a] phwy ai gwelodd ef yno: canys dywedwyd i mi ei fod ef yn gyfrwys iawn.

23 Edrychwch gan hynny, a gwybyddwch yr holl lochesau y rhai y mae efe yn ymguddio ynddynt, a dychwelwch attafi a siccrwydd, fel yr elwyf gyd a chwi: ac os bydd efe yn y wlâd, chwiliaf am dano ef drwy holl filoedd Iuda.

24 Yna y cyfodasant hwy, ac yr aethant i Ziph o flaen Saul: ond Dafydd a'i wŷr [oeddynt] yn anialwch Maon, mewn rhos o'r tu dehau i'r diffaethwch.

25 Saul hefyd a aeth a'i wŷr i'w geisio [ef,] a mynegwyd i Ddafydd, am hynny efe a ddaeth i wared i'r graig, ac a arhosodd yn anialwch * Maon: pan glybu Saul [hynny,] yna efe a erlidiodd ar ol Dafydd yn anialwch Maon.

26 ˡ A Saul a aeth o'r naill du i'r mynydd, a Dafydd a'i wŷr o'r tu arall i'r mynydd: ac yr oedd Dafydd yn bryssio i fyned ymmaith oddi wrth Saul: canys Saul a'i wŷr ef a amgylchynasent Dafydd, a'i wŷr, i'w dala hwynt.

27 ᵐ Yna cennad a ddaeth at Saul gan ddywedyd, Bryssia a dos, canys y Philistiaid a ruthrasant ar y wlad.

28 Am hynny y dychwelodd Saul o erlid ar ôl Dafydd, ac efe a aeth i gyfarfod a'r Philistiaid, o herwydd hynny y galwasant y fann honno Selah Hamalecoth.

## PEN. XXIV.

*Dafydd yn gallu lladd Saul, ac yn ei arbed ef. 18 Saul yn cydnabod ei fai, ac yn peri i Ddafydd dyngu bod yn dda wrth ei hiliogaeth ef.*

A DAFYDD ⁿ a aeth i fynu oddi yno; ac a arhosodd yn amddeffynfeudd En-gedi.

2 ᵒ A phan ddychwelodd Saul oddi ar ol y Philistiaid; * yna y mynegwyd iddo ef gan ddywedyd, Wele Ddafydd yn anialwch En-gedi.

3 ᵖ Yna y cymmerth Saul dair mil o wŷr etholedig o holl Israel, ac efe a aeth i geisio

Dafydd a'i wŷr ar hyd coppa y creigiau [ym
mhlith] y geifr gwylltion.
4 Ac efe a ddaeth at gorlannau y defaid [y
rhai oeddynt] ar y ffordd, ac yno yr oedd ogof,
a Saul a aeth i mewn i wasanaethu ei gorph: a
Dafydd a'i wŷr oeddynt yn aros yn ystlysau
yr ogof.
5 q Yna gwŷr Dafydd a ddywedasant wrtho
ef, Wele'r dydd [am] yr hwn y dywedodd yr
Arglwydd wrthit, Wele fi yn rhoddi dy elyn yn
dy law di, fel y gwnelech iddo ef megis y byddo
da yn dy olwg di; yna Dafydd a gyfododd, ac
a dorrodd gwrr y fantell (yr hon [oedd] am Saul)
yn ddirgel.
6 r Ac wedi hyn chwith fu gan Ddafydd o
herwydd iddo dorri cwrr [y fantell] yr hon
[oedd] gan Saul.
7 s Ac efe a ddywedodd wrth ei wŷr, Na at-
to'r Arglwydd i mi wneuthur y peth hwn i'm
meistr eneiniog yr Arglwydd, gan estyn fy
llaw yn ei erbyn ef: oblegit eneinioc yr Arglwydd
[yw] efe.
8 t Felly y gostegodd Dafydd ei wŷr a'r geir-
iau [hyn,] ac ni adawodd iddynt gyfodi yn er-
byn Saul; a Saul a gododd i fynu o'r ogof, ac a
aeth i ffordd.
9 Ac yn ol hyn Dafydd a gyfododd, ac a
aeth allan o'r ogof, ac a lefodd ar ol Saul gan
ddywedyd, Fy arglwydd frenin: pan edrychodd
Saul o'i ol, yna Dafydd a ostyngodd ei wyneb
tua'r ddaiar, ac a ymgrymmodd.
10 u A Dafydd a ddywedodd wrth Saul, Pa
ham y gwrandewi eirian dŷn, gan ddywedyd,
Wele y mae Dafydd yn ceisio niwed i ti?
11 Wele dy lygaid a welsant y dydd hwn
ddarfod i'r Arglwydd dy roddi di yn fy llaw i
heddyw yn yr ogof, a dywedpwyd [wrthif] am
dy ladd di, ond [fy enaid] a'th arbedodd di: a
dywedais, Ni estynnaf fy llaw yn erbyn fy meistr,
canys eneiniog yr Arglwydd [yw] efe.
12 v Fy nhad hefyd gwel, gwel etto gwrr dy
fantell yn fy llaw i: canys pan dorrais ymmaith
gwrr dy fantell di heb dy ladd, gwybydd a
gwel nad oes yn fy llaw i ddrygioni, na cham-
wedd, ac na phechais i'th erbyn, er dy fod ti yn
hela a'm fy enioes i i'w chymmeryd hi ymaith.
13 w Barned yr Arglwydd rhyngofi a thithe, a
dialed yr Arglwydd fi arnat ti, ac na fydded fy
llaw i i'th erbyn di.
14 x Megis y dywed yr hên ddihareb, O'r rhai
anwir y daw allan anwiredd: ond ni bydd fy
llaw i i'th erbyn di.
15 y Ar ôl pwy'r aeth brenin Israel allan? ar
ôl pwy'r ydwyt ti'n erlid? ar ôl cî marw? ar ôl
un gwybedyn?
16 z Ond bydded yr Arglwydd yn farn-wr, a
barned rhyngofi a thi: edryched hefyd a dad-
leued fy nadl, ac achubed fi o'th law di.
17 a A phan orphennodd Dafydd lefaru y aDiar 15,
geiriau hyn wrth Saul, yna y dywedodd Saul, 1
Ai dy lêf di [yw] hon fy mab Dafydd? a Saul a Pen. 20,
dderchafodd ei lêf, ac a wylodd. 21
18 b Efe a ddywedodd hefyd wrth Ddafydd, bMat. 5,
Cyfiawnach [ydwyt] ti na mi: canys ti a delaist 44
i mi y daioni, a minne a delais i ti y drygioni.
19 A thi a ddangosaist heddyw yr hyn a wna-
ethost a mi o ddaioni: o herwydd rhoddes yr
Arglwydd fi yn dy law di, ac ni'm lleddaist.
20 c Ond os caffe gwr ei elyn, a ollynge efe ef cSal. 118,
mewn ffordd dda? am hynny yr Arglwydd a 24
dalo i ti ddaioni am yr hyn a wnaethost i mi y
dydd hwn.
21 d Ac wele yn awr y gwn gan deyrnasu y teyr- dPen. 3,8
nesi di: ac y saif brenhiniaeth Israel yn dy law di. 17
22 Twng dithe wrthifi yn awr i'r Arglwydd,
na thorrech ymmaith fy hâd i ar fy ol: ac na
ddifethech fy enw i o dŷ fy nhâd.
23 e Felly Dafydd a dyngodd wrth Saul; a e 2 Sam.
Saul a aeth iw dŷ, Dafydd hefyd ai wŷr a 21, 6, 9
aethant i fynu i'r amddeffynfa. Mat. 10,
16

## PEN. XXV.

*Marwolaeth Samuel.* 10 *Afrywiowgrwydd Nabal.* 18 *Synwyr Abigail.* 38 *Marwolaeth Nabal,* 39 *Dafydd yn priodi Abigail.*

YNA y * bu farw Samuel, f a holl Israel a *Pen 28,
ymgynnullasant, ac a alarasant am dano ef 3
ac a'r claddasant ef o fewn ei dŷ ei hun yn Ra- fGen.30,
ma: a Dafydd a gyfododd, ac a aeth i wared i 11 Icr. 22,18
anialwch Paran. Diar. 10,7 Gen. 4,6
2 g Ac [yr oedd] gŵr ym Maon a'i gyfoeth yn g Ios. 15,
Carmel, a'r gŵr [oedd] rymmus iawn, ac iddo 55
ef [yr oedd] dair mil o ddefaid, a mil o eifr: ac Sal. 17, 17
yr oedd efe yn cneifio ei ddefaid yn Carmel. 14 a 73,3,4 Marc 5, 45
3 Ac enw'r gŵr [oedd] Nabal, ac enw ei wraig
Abigail; a'r wraig [oedd] yn dda [ei] deall, ac
yn deg [ei] gwêdd, a'r gŵr [oedd] galed, a drwg
[ei] weithredoedd, a Chalibiad [oedd] efe.
4 h A chlybu Dafydd yn yr anialwch fod Na- hGen. 38,
bal yn cneifio ei ddefaid. 13
5 Yna Dafydd a anfonodd ddêc o langciau;
a Dafydd a ddywedodd wrth y llangciau,
Ewch i fynu i Garmel, a cherddwch i mewn at
Nabal, a chyferchwch ef yn fy enw i.
6 i Dywedwch hefyd, Fel hyn [y byddo it'] yn iLuc 10,5
[dy] fywyd, [caffech] di heddwch, a'th dŷ hedd-
wch, a'r hyn oll sydd eiddo ti heddwch.
7 j Ac yn awr clywais fod rhai yn cneifio i ti; j1Pedr. 3
yn awr y bugeiliaid y rhai sydd genit a fuant 8
gyd a ni, ni wnaethom sarhaed arnynt hwy, ac Adn. 15,
ni bu ddim eisie iddynt yr holl ddyddiau 21 Rhuf. 12,
y buant hwy yn Carmel. 17 Phil. 4,8
8 k Gofyn i'th langciau, a hwy a fynegant it', kDeut. 12
fel y caffo'r llangciau hyn ffafor yn dy olwg di, 1. a 14, 26
canys ar ddiwrnod da y daethom ni, dyro atto- Est. 9, 19 Neh. 8,10

lwg yr hyn a ddelo i'th law i'th weision, ac i'th fab Dafydd.

9 A llangciau Dafydd a ddaethant, ac wedi iddynt ddywedyd wrth Nabal yn ol yr holl eiriau hynny yn enw Dafydd; yna y tawsant.

l Ex. 5, 2 Sal. 123, 3 a 73, 7, 8 Pen. 22, 2

10 [l] Yna Nabal a attebodd weision Dafydd ac a ddywedodd, Pwy [yw] Dafydd, neu pwy [yw] mab Isai? llawer sydd o weision heddyw yn torri allan bob un oddiwrth eu meistred.

m Iob 31, 27 Deut. 8, 17

11 [m] A gymmerafi fy mara, a'm dwfr, a'm cig yr hwn a leddais i'r cneif-wyr, ai rhoddi i wŷr y rhai nis gwn o ba le [y maent] hwy?

Gen. 51, 25 a 26, 16 Gal 6, 10. Preg. 11, 1, 2

12 [n] Yna llangciau Dafydd a droasant i'w ffordd, ac a ddychwelasant, ac a ddaethant, ac a fynegasant iddo ef yn ol yr holl eiriau hynny.

n Mat. 7. 6 Ios. 9, 14 Pen. 25, 10 a 24, 6

13 A Dafydd a ddywedodd wrth ei wŷr, Ymwregyswch bob un ei gleddyf; yna'r ymwregysodd pob un ei gleddyf, ymwregysodd Dafydd hefyd ei gleddyf; ac yng-hylch pedwar cant o wŷr a aethant i fynu ar ol Dafydd, a dau cant a drigasant gyd a'r dodrefn.

14 Yna un o'r llangciau a fynegodd i Abigail gwraig Nabal, gan ddywedyd, Wele Dafydd a anfonodd gennadau o'r anialwch i gyfarch ein meistr ni, ond efe a'i difenwodd hwynt.

o Adn. 7, 11 Mat. 6, 16 Col 4, 5 Phil. 2, 15

15 [o] A'r gwŷr [fuant] yn dda iawn wrthym ni, ac ni wnaed sarhaed arnom ni, ac ni bu i ni ddim yn eisiau yr holl ddyddiau y rhodiasom gyd a hwynt pan oeddem yn y maes.

p Iob 1, 10

16 [p] Mûr oedddynt hwy i ni nos a dydd; yr holl ddyddiau y buom gyda hwynt yn porthi y praidd.

q Deut 13, 13 Barn. 19, 22 Iob 31, 13

17 [q] Ac yn awr gwybydd, ac edrych beth a wnelech, canys parottowyd niweid yn erbyn ein meistr ni, ac yn erbyn ei holl dŷ ef; canys efe [sydd] fab i'r fall, fel na ellir ymddiddan ag ef.

r Mat. 5, 25 Diar. 18, 16 a 31, 14 Luc 8 1

18 [r] Yna Abigail a frysiodd, ac a gymmerth ddau cant o fara, a dwy gostreled o wîn, a phump o ddefaid parod, a phum hobed o grasŷd, a chant [cawelled] o resynau, a dau cant [torth] o ffigys, ac ai gosododd ar yr assynod.

s Diar 14, 16 a 18, 2, 6

19 [s] A hi a ddywedodd wrth ei gweision, Cerddwch o'm blaen i, wele fi yn dyfod ar eich ol; ond wrth Nabal ei gŵr nid yngênodd hi.

20 A hi yn marchogaeth ar yr assyn, ac yn dyfod i wared ar hyd y mynydd yn ddirgel, yna wele Dafydd ai wŷr yn descyn iw herbyn, a hi a gyfarfu a hwynt.

t Iob 30, 8 Sal. 109, 3 Diar 17, 13

21 [t] Yna y dywedodd Dafydd, Diau gadw o honofi yn ofer yr hyn oll [oedd] gan hwn yn yr anialwch, fel na bu ddim yn eisiau o'r hyn oll [oedd] ganddo ef, canys efe a dalodd i mi ddrwg dros dda.

u Ruth 1, 17 Pen. 216 1 Bren 14, 10 a 21, 21 2 Bren 9, 8 Preg. 5, 2 Ier. 5, 2 2 Sam. 16, 6

22 [u] Felly y gwnelo Duw i elynnion Dafydd, ac felly chwaneged, os gadawafo'r hyn oll [sydd] ganddo ef erbyn y boreu [un] a bisso ar bared.

23 Pan welodd Abigail Ddafydd, yna hi a fryssiodd, ac a ddescynnodd oddiar yr assyn: a hi a syrthiodd ger bron Dafydd ar ei hwyneb, ac a ymgrymmodd i lawr.

24 [v] A hi a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ddywedodd, Ynofi fy arglwydd y [mae] yr anwiredd: etto llefared dy wasanaeth-ferch attolwg wrthit, a gwrando eiriau dy law-forwyn.

25 Attolwg na osoded fy arglwydd ei galon yn erbyn y gŵr anwir hwn, [sef] yn erbyn Nabal, canys fel [y mae] ei enw ef, felly [y mae] yntef, Nabal [yw] ei enw ef, ac ynfydrwydd [sydd] gyd ag ef; a minne dy wasanaethferch ni welais weision fy arglwydd y rhai a anfonaist.

26 [w] Ac yn awr fy arglwydd, [fel] y mae yr Arglwydd yn fyw, (ac [mai] byw dy enaid ti) yr Arglwydd a'th luddiodd di rhac dyfod [i dywallt] gwaed, ac i ymddial a'th law dy hun, felly yn awr bydded dy elynion di megis Nabal, a'r sawl a geisiant niweid i'm harglwydd.

27 [x] Ac yn awr yr anrheg ymma yr hon a ddug dy wasanaethferch i'm harglwydd, rhodder hi i'r llangciau y rhai sy yn canlyn fy arglwydd.

28 [y] A madde attolwg gamwedd dy wasanaethferch; canys yr Arglwydd gan wneuthur a wnaiff i'm harglwydd dŷ siccr, o herwydd fy arglwydd sy yn ymladd rhyfeloedd yr Arglwydd, a drygioni ni chafwyd ynot ti yn dy holl ddyddiau.

29 [z] Er cyfodi o ddyn i'th erlyd ti, ac i geisio dy enaid; etto enaid fy arglwydd a fydd wedi ei rwymo mewn rhwymyn y bywyd, gyd a'th Arglwydd dy Dduw, ac enaid dy elynnion a chwrndeifl efe fel o ganol caudab y ffon-dafl.

30 A phan wnelo'r Arglwydd i'm harglwydd yn ol yr hyn oll a lefarodd efe o ddaioni am danat, a phan i'th orchymyn di yn flaenor ar Israel,

31 [a] Yna ni bydd hyn yn gwymp, nac yn dramgwydd calon i'm harglwydd megis tywallt gwaed heb achos, a dial o'm harglwydd ef ei hun; pan wnelo Duw ddaioni i'm harglwydd, yna cofia di dy law-forwyn.

32 [b] Yna y dywedodd Dafydd wrth Abigail, Bendigedic fyddo Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a'th anfonodd di y dydd hwn i'm cyfarfod i,

33 Bendigedic hefyd [yw] dy gynghor, a bendigedic [fyddech] dithe; yr hon a'm lluddiaist y dydd hwn rhac dyfod i [dywallt] gwaed, ac i ymddial a'm llaw fy hun.

34 Yn wir fel y mae Arglwydd Dduw Israel yn fyw, yr hwn a'm hattaliodd i rhac dy ddrygi di; oni buase i ti ddyfod i'm cyfarfod i yn fuan, Diau na adawsid i Nabal erbyn goleuni y boreu [un] a bisse ar bared.

35 Yna y cymmerodd Dafydd oi llaw hi yr hyn a ddugase hi iddo ef: ac efe a ddywedodd wrthi hi, Dos i fynu mewn heddwch i'th dŷ, gwel ni a wrandewais ar dy lais, ac a ganiateais dy ddysyfiad di.

36 [c] Felly Abigail a ddaeth at Nabal, ac wele

[yr oedd] gwleddganddo ef yn ei dŷ, fel gwledd
y brenin, a chalonNabal oedd lawen ynddo ef,ca-
nys meddw iawn oedd efe: ac nid yngênodd hi
wrtho ef air bychan,na mawr nes goleuo yr boreu.
dn.10 21,34 37 [d] A'r boreu pan aeth y meddwdod allan o
ut.28, Nabal, yna y mynegodd ei wraig iddo ef y geir-
b15.21 iau hynny; ai galon ef fu farw o'i fewn, ac efe
oedd fel carrec.
38 Yna ynghylch [pen] y deng-nhiwrnod y ta-
rawodd yr Arglwydd Nabal fel y bu efe farw.
iar.24 39 [e] Pan glybu Dafydd farw Nabal, yna y
1.58,10 dywedodd efe, Bendigedic [fyddo] yrArglwydd,
ren.2, yr hwn a ddialodd fy sarhaed i o law Nabal, ac
.52,7 a attaliodd ei was rhac drwg, canys yr Arglw-
02,13 1.7,10 ydd a drodd ddrygioni Nabal ar ei ben ei hun:
ar.31, Dafydd hefyd a anfonodd i ymddiddan ag Abi-
gail am ei chymmeryd hi yn wraig iddo ef.
40 A phan ddaeth gweision Dafydd at Abi-
gail i Garmel, hwy a lefarasant wrthi hi gan
ddywedyd, Dafydd a'n hanfonodd ni attat i'th
gymmeryd ti yn wraig iddo ef.
ith2, 41 [f] Yna hi a gyfododd, ac a ymgrymmodd
[ai]hwyneb tu a'r ddaiar: ac a ddywedodd, Wele
r.15, dy forwyn yn wasanaeth-ferch i olchi traed
gweision fy arglwydd.
42 Abigail hefyd a frysiodd, ac a gyfododd, ac
a farchogodd ar assyn, a phump o langcesau yn
ei chanlyn, a hi a aeth ar ol cennadau Dafydd,
ac a aeth yn wraig iddo ef.
.15,3 43 A Dafydd a gymmerth Ahinoam o*Iezrehel,
ac hwy a fuont ill dwyodd yn wragedd iddo ef.
44 A Saul a roddase Michol ei ferch ef gw-
raig Dafydd i Phalti fab Lais o Galim.

## PEN. XXVI.

*Dafydd eilwaith yn gallu lladd Saul, ac yn ei arbed ef.*

u.3, 15 YNA y Ziphiaid a ddaethant at Saul i Gibea
. 10, gan ddywedyd, * Onid [ydyw] Dafydd yn
15, llechu ym mryn Hachila ar gyfer y diffaethwch?
. 23 2 [g] Yna y cyfododd Saul, ac a aeth i wared i
f. 3, anialwch Ziph a thair mil o etholedigion gwŷr
Israel gyd ag ef, i geisio Dafydd yn anialwch
.140, Ziph.
. 24, 3 A Saul a werssyllodd ym mryn Hachila, yr
15,4 hwn [sydd]ar gyfer y diffaethwch wrth y ffordd:
a Dafydd oedd yn aros yn yr anialwch, ac efe a
ganfu Saul wedi dyfod ar ei ol ef i'r anialwch.
1.112, 4 [h] (Canys Dafydd a anfonase chwil-wŷr, ac a
. 10, wybu ddyfod o Saul yn siccr.)
1. 14, 5 [i] Yna y cyfododd Dafydd, ac y daeth i'r lle
17,55 . 17, yr hwn y gwerssyllase Saul ynddo; a chanfu
Dafydd y lle yr hwn yr oedd Saul yn gorwedd
ynddo, ac Abner mab Ner tywysog ei filwriaeth
ef: a Saul oedd yn gorwedd yn y werssyllfa,
b3,1 1. 10, a'r bobl yn gwerssyllu oi amgylch ef.
15,20 on.2, 6 [j] Yna y llefarodd Dafydd, ac y dywedodd
efe wrth Abimelec yr Hethiad, ac wrth Abisai
n. 7, fab Serfia brawd Ioab gan ddywedyd, Pwy a
aiff i wared gyd a mi at Saul i'r gwerssyll? yna
y dywedodd Abisai, myfi a âf i wared gyd a thi.
7 [k] Felly y daeth Dafydd, ac Abisai at y bobl k 1Thes. 5,2,3
liw nos, ac wele Saul yn gorwedd, [ac] yn cys-
cu yn y werssyllfa, ai waiwffon wedi ei gwthio
i'r ddaiar [wrth] ei obennydd ef: ac Abner, a'r
bobl oeddynt yn gorwedd oi amgylch ef.
8 [l] Yna y dywedodd Abisai wrth Ddafydd, l 1Sam.24,4
Duw a roddes heddyw dy elyn di yn dy law di:
ac yn awr gad i mi ei daro ef attolwg a gwaiw-
ffon hyd y ddaiar unwaith, ac nis ail tarawaf ef.
9 [m] A Dafydd a ddywedodd wrth Abisai, Na m Pen.24,7
ddifetha ef, canys pwy a estynne ei law yn er-
byn eneiniog yr Arglwydd, ac a fydde ddiniwed?
10 [n] Dywedodd Dafydd hefyd, [Fel] y mae yr n Pen.25,38
Arglwydd yn fyw, y naill ai yr Arglwydd ai Sal. 94,1
teru ef: neu ei ddydd ef a ddaw i farw, neu efe a Iob 7,1 a 14,5
ddescyn i'r rhyfel, ac a ddifethir. Sal.37,11 Pen 31,6
11 Yr Arglwydd a'm cadwo i rhac estyn fy Rhuf. 12,19
llaw yn erbyn eneiniog yr Arglwydd: ac yn awr Deut.32,35
cymmer attolwg y waiw-ffon yr hon [sydd wrth] Sal. 49,1
ei obennydd ef, a'r phioled ddwfr, ac awn Luc 18,7
ymmaith. Dat. 18,8
12 [o] A Dafydd a gymmerth y waiw-ffon, a'r o Gen.12,15 a 2.21
phioled ddwfr oddi wrth obennydd Saul, a Ester 6,1
hwy a aethant ymmaith: ac nid oedd [neb] yn
gweled, nac yn gwybod, nac yn neffro, canys
hwynt oll oeddynt yn cyscu, o herwydd trwm-
gwsc yr Arglwydd a syrthiase arnynt hwy.
13 Yna Dafydd a aeth i'r tu hwnt, ac a safodd
ar ben y mynydd o hir-bell, [ac] encyd fawr
rhyngddynt.
14 A Dafydd a lefodd ar y bobl, ac ar Abner
fab Ner gan ddywedyd, Onid attebi di Abner?
yna Abner a attebodd, ac a ddywedodd, Pwy
[ydwyt] ti [yr hwn] a elwaist ar y brenin?
15 A Dafydd a ddywedodd wrth Abner,
Onid gŵr [ydwyt] ti? a phwy [sydd] fel ti yn Is-
rael? a pha ham na chedwaist dy arglwydd
frenin? canys daeth un o'r bobl i ddifetha y
brenin dy feistr di.
16 Nit da [yw] y peth hyn yr hwn a wnaeth-
ost di [fel] y mae 'r Arglwydd yn fyw, canys
meibion [euog] o farwolaeth [ydych] chwi, am
na chadwasoch eich meistr, sef eneiniog yr Ar-
glwydd: ac yn awr edrychwch pa le [y mae]
gwaiw-ffon y brenin, a'r phioled ddwfr, y rhai
[oeddynt wrth] ei obennydd ef.
17 Yna Saul a adnabu lais Dafydd, ac a ddy-
wedodd, Ai dy lef di [yw] hon fy mab Dafydd? p Pen.24,12
yna y dywedodd Dafydd, Fy llef fi [ydyw] hi Sal. 35,7
fy arglwydd frenin. q 2 Sam. 24,1
18 [p] Dywedodd efe hefyd, Pa ham [fel] hyn fy a 16, 11 Gen 8,21
arglwydd yr ydwyt yn erlid ar ol dy wâs? can- Diar.6,19 Gal. 5,12
ys beth a wneuthum? neu pa ddrygioni [sydd] Sal. 42,1. 2 a 84,2
yn fy llaw? Sal. 120,5
19 [q] Ac yn awr, attolwg gwrandawed fy ar- Rhuf. 14, 15

glwydd frenin eirjau ei wasanaeth-wr: os yr Ar-
glwydd a'th annogodd di i'm herbyn arogler ab-
erth; ond os meibion dynion, melldigedic [fydd-
ant] hwy ger bron yr Arglwydd, o herwydd
iddynt fyng-yrru i ymmaith heddyw, fel nad
ydwyf yn cael glynu yn etifeddiaeth yr Ar-
glwydd gan ddywedyd, Dos gwasanaetha
dduwiau dieithr.
r Pen. 24, 14 20 r Yn awr gan hynny na syrthied fyng-waed
i i'r ddaiar o flaen wyneb yr Arglwydd: canys
brenin Israel a aeth allan i geisio un gwybedyn,
megis pe d ymlidie efe bettris yn y mynyddoedd.
s Pen. 24, 17 Pen. 27, 4 21 s Yna Saul a ddywedodd, Pechais, dych-
wel Dafydd fy mab, canys ni'th ddrygaf di mwy,
o herwydd gwerth-fawr fu fy enioes i yn dy
olwg di y dydd hwn: wele ynfyd y gwneuthum
ac mi a ymryfusais yn ddirfawr.
22 A Dafydd a attebodd ac a ddywedodd, Wele
waiw-ffon y brenin: deled un o'r llangciau tro-
sodd, a chymmered hi.
t Neh. 13, 14 Esa. 3, 10, 11 Sal. 16, 1 a 7, 8 23 t A'r Arglwydd a dalo i bob un ei gyfiawn-
der ei hun, ai ffyddlondeb: canys yr Arglwydd
a'th roddes di heddyw yn [fy] llaw i, ond ni
fynnais i estyn fy llaw yn erbyn eneiniog yr
Arglwydd.
24 Ac wele megis y mawrhauwyd dy enaid ti
heddyw yn fyng-olwg i: felly y mawrhaer fy
enaid inne yng-ŵydd yr Arglwydd, fel y gwa-
redo efe fi o'm holl gyfyngdra.
u Pen 27, 1 25 u Yna y dywedodd Saul wrth Ddafydd,
Bendigedic [ydwyt] ti fy mab Dafydd, hefyd
gan wneuthur y gwnei, a chan orchfygu y
gorchfygi, a Dafydd a aeth iw ffordd, a Saul a
ddychwelodd iw fangre ei hun.

## PEN. XXVII.

*Dafydd yn ffoi at Achis, ac yn cael aros yn Siclag. 8 Ac oddi yno yn lladd rhai o'r Philistiaid heb wybod i Achis.*

v Sal. 116, 11, Diar. 13, 12 DYWEDODD v Dafydd hefyd yn ei galon,
Yn awr difethir fi ryw ddydd drwy law
Saul: Onid goref i mi ddiangc i dir y Philistiaid,
(fel yr anobeithio Saul [ddyfod] i mi,) ac ni'm
cais i yn holl derfynau Israel? felly y diangaf
oi law ef?
w Pen. 21, 10 Pen 6, 17 2 w Yna Dafydd a gyfododd, ac a dramwyodd,
efe a'r chwe chan-wr y rhai [oeddynt] gyd ag ef,
at Achis fab Maoc brenin Gath.
x Pen 30, 5 3 x A Dafydd a arhosodd gyd ag Achis yn
Gath, efe, ai wŷr, pob un ai deulu ei hun: Da-
fydd ai ddwy wragedd Ahinoam yr Iesrahelith-
es, ac Abigail gwraig Nabal y Garmelithes.
y Pen 26, 21 4 y Yna y mynegwyd i Saul ffoi o Ddafydd i
Gath: ac ni chwanegodd efe ei geisio ef mwy.
z Sal. 120, 5 2 Cor. 6, 17 Num. 25, 1 a Ios. 15, 31 1 Cron. 12 5 z A Dafydd a ddywedodd wrth Achis, O che-
fais yn awr ffafor yn dy olwg di, rhodder i mi le
yn un o'r maes drefi fel y trigwyf yno: canys pa
ham yr erys dy wâs di yn ninas y brenin gyd a thi:
6 a Yna Achis a roddes iddo ef y dydd hwnnw
Siclag: am hynny y mae Siclag yn eiddo bren-
hinoedd Iuda hyd y dydd hwn.
7 b A rhifedi y dyddiau y rhai yr arhosodd
Dafydd yng-wlâd y Philistiaid [oeddynt] ddydd-
iau a phedwar mis.
8 c Yna Dafydd a aeth i fynu, ai wŷr, ac a ruth-
rasant ar y Gesuriaid, ar Girsiaid, a'r Amaleci-
aid: hwynt oeddynt yn presswylio y wlad honno
erioed, ffordd y delech i Sur, ie hyd wlad yr Aipht.
9 d A Dafydd a darawodd y wlâd, ac ni adaw-
odd yn fyw ŵr, na gwraig: ac efe a ddûg ddefaid,
a gwarthec, assynod hefyd a chamelod, a gwisc-
oedd, ac a ddychwelodd, ac a ddaeth at Achis.
10 Ac Achis a ddywedodd, I ba le y rhuthras-
och chwi heddyw: yna y dywedodd Dafydd, Yn
erbyn tu dehau Iuda, ac yn erbyn tu dehau yr
* Ierameeliaid, ac yn erbyn tu dehau y Ceneaid.
11 Ac ni adawse Dafydd yn fyw ŵr na gwraig
iw dwyn i Gath, gan ddywedyd: Rhag mynegu
o honynt i'n herbyn gan ddywedyd: Fel hyn y
gwnaeth Dafydd, ac felly [yr oedd] ei arfer ef yr
holl ddyddiau tra yr arhosodd efe yng-wlad y
Philistiaid
12 Ac Achis a gredodd Ddafydd gan ddy-
wedyd: Efe ai gwnaeth ei hun yn ffiaidd, ac yn
wrthgas gan ei bobl ei hun yn Israel, am hynny
y bydd efe yn wâs i mi yn dragywydd.

## PEN. XXVIII.

*Saul yn ymgynghori â dewines, ac yn cael clywed ei ddinistr ei hun.*

A'R e Philistiaid yn y dyddiau hynny a gyn-
nullasant ei byddinoedd yn llu, i ymladd
yn erbyn Israel: a dywedodd Achis wrth Dda-
fydd, Gwybydd di yn yspys yr ei di gyd a mi all-
an i'r gwerssylloedd ti a'th wŷr.
2 f A dywedodd Dafydd wrth Achis, Yn ddi-
au ti a gei ŵybod yr hyn a wnaiff dy wâs di: a
dywedodd Achis wrth Ddafydd, Yn wîr minne
a'th osodaf di yn geidwad ar fy mhen i byth.
3 g (A* Samuel a fuase farw, a holl Israel a al-
arasent an dano ef, ac ai claddasent ef yn Ra-
mah, sef yn ei ddinas ei hun: Saul a yrase ym-
maith y swynyddion, a'r dewiniaid o'r wlâd)
4 h Yna y Philistiaid a ymgynnullasant, ac a
ddaethant, ac a wersyllasant yn Sunem: a Saul
a gasglodd holl Israel, a hwy a werssyllasant yn
Gilboa.
5 i Pan welodd Saul werssyll y Philistiaid, yna
yr ofnodd efe, ai galon a ddychrynnodd yn
ddirfawr.
6 j A phan ymgynghorodd Saul a'r Arglwydd,
yna'r Arglwydd nis attebodd ef: na thrwy freu-
ddwydion, na thrwy * Urim, k na thrwy brophwydi.
7 l Yna y dywedodd Saul wrth ei weision,
Ceisiwch i mi wraig berchen yspryd dewiniaeth,
fel yr elwyf atti, ac yr ymofynnwyf a hi: ai wei-
sion a ddywedasant wrtho ef, Wele [y mae] gwr-

aig berchen ysbryd dewiniaeth yn Endor.
8 [m] Yna Saul a newidiodd ei ddillad, ac a
wiscodd ddillad eraill, ac efe a aeth a dau ŵr
gyd ag ef, a hwy a ddaethant at y wraig liw nos,
ac efe a ddywedodd, Dewina attolwg i mi drwy
yspryd dewiniaeth, a dwg i fynu attafi yr hwn a
ddywedwyf wrthit ti.
9 A'r wraig a ddywedodd wrtho ef, Wele ti a
wyddost yr hyn a wnaeth Saul, yr hwn a ddi-
fethodd y swynyddion, a'r dewiniaid o'r wlad:
pa ham gan hynny yr ydwyt ti yn gosod magl
yn erbyn fy enaid i, i beri i mi farw?
10 [n] A Saul a dyngodd wrthi hi i'r Arglwydd
gan ddywedyd, [Nid] byw yr Arglwydd os
ddigwydda i ti niweid am y peth hyn.
11 Yna y dywedodd y wraig, Pwy a ddygafi i
fynu attat ti? ac efe a ddywedodd, Dwg Samuel
i fynu attafi.
12 [o] A'r wraig a ganfu Samuel, ac a alwodd a
llef uchel: a'r wraig a lefarodd wrth Saul gan
ddywedyd, Pa ham y twyllaist fi, canys ti [yd-
wyt] Saul?
13 [p] A'r brenin a ddywedodd wrthi hi, Nac
ofna, canys beth a welaist? a'r wraig a ddywed-
odd wrth Saul, Duwiau a welais yn derchafu o'r
ddaiar.
14 Yntef a ddywedodd wrthi hi, Pa ddull
[sydd] arno ef? a hi a ddywedodd, Gŵr hên sydd
yn dyfod i fynu, a hwnnw yn gwisgo mantell:
a gwybu Saul mai Samuel [oedd] efe, ac efe a
ostyngodd ei wyneb i lawr, ac a ymgrymmodd.
15 [q] A Samuel a ddywedodd wrth Saul, Pa
ham y cyffroaist fi, gan beri i mi ddyfod i fynu?
yna y dywedodd Saul, Mae yn gyfyng iawn
arnafi, canys y mae y Philistiaid yn rhyfela yn fy
erbyn i, a Duw a giliodd oddiwrthifi, ac ni'm
hattebodd mwyach na thrwy law prophwydi,
na thrwy freuddwydion, am hynny y gelwais
arnat ti i yspyssu i mi beth a wnawn.
16 [r] Yna y dywedodd Samuel, Pa ham gan
hynny yr ydwyt ti yn ymofyn a mi, gan i'r Ar-
glwydd gilio oddi wrthit ti, a bod i ti yn elyn?
17 [s] Yr Arglwydd yn ddiau a wnaeth iddo
megis ag y llefarodd drwy * fy llaw i: canys yr
Arglwydd a rwygodd y frenhiniaeth o'th law di,
ac ai rhoddes hi i'th gymmydog Dafydd.
18 [t] O herwydd na wrandewaist di ar lais yr
Arglwydd, ac na chyflawnaist di lidiawgrwydd
ei ddigter ef yn erbyn yr Amaleciaid, am hynny y
gwnaeth yr Arglwydd y peth hyn i ti y dydd hwn.
19 [u] Yr Arglwydd hefyd a ddyru Israel gyd
a thi yn llaw y Philistiaid, ac y * foru [y byddi]
di a'th feibion gyd a mi: a'r Arglwydd a ddyru
werssyllau Israel yn llaw y Philistiaid.
20 [v] Yna Saul a fryssiodd, ac a syrthiodd oi
hŷd gyhŷd ar y ddaiar, ac a ofnodd yn ddirfawr
rhac geiriau Samuel: nerth hefyd nid oedd yn-
ddo ef, canys ni fwytase fwyd yr holl ddiwrnod,
na'r holl noswaith honno.
21 [w] Yna y daeth y wraig at Saul, a hi a gan- w Adn 9
fu mai dychrynnedig iawn oedd efe: a hi a ddy- Barn. 12, 3
wedodd wrtho ef, Wele gwrandawodd dy law-
forwyn ar dy lais di, gosodais hefyd fy einioes
mewn enbydrwydd, ac ufyddheais dy eiriau y
rhai a leferaist wrthif.
22 Yn awr gan hynny gwrando dithe attolwg
ar lais dy wasanaeth-ferch, a gad i mi osod ger
dy fron di dammed o fara, fel y bwyttaech: ac y
byddo nerth ynot, pan elech i ffordd.
23 Ond efe a wrthododd, ac a ddywedodd, Ni
fwyttaf: etto ei weision a'r wraig hefyd ai cym-
mellasant ef; ac efe a wrandawodd ar eu llais
hwynt: ac efe a gyfododd oddi ar y ddaiar ac a
eisteddodd ar y gwely.
24 Ac [yr oedd] gan y wraig lô brâs yn tŷ, yna
hi a fryssiodd, ac ai lladdodd ef: cymmerth hefyd
beilliad, ac ai telinodd, ac ai pobodd yn gri.
25 [x] Yna hi ai dûg [hwynt] ger bron Saul, a cher x Sal. 50, 21
bron ei weision ef, a hwy a fwyttasant: ac a gy- Iob 20, 5
fodasant, ac a aethant ymmaith y noson honno.

## PEN. XXIX.

*Tywysogion y Philistiaid yn peri gyrru Dafydd yn ei ol.*

YNA [y] y Philistiaid a gynnullasant eu holl y Ios. 19, 18
fyddinoedd i Aphec: a'r Israeliaid oeddynt Pen 28, 5
yn gwerssyllu wrth Ain yr hon [sydd] yn Iezrahel.
2 [z] A thywysogion y Philistiaid oeddynt yn z Pen 28, 3
trammwy yn gantoedd, ac yn filoedd: ond Dafydd
ai wŷr oeddynt yn cerdded yn olaf gyd ag Achis.
3 [a] Yna tywysogion y Philistiaid a ddywedas- a Pen 27, 7
ant, Beth [a wna] yr Hebræaid hyn [ymma?] ac Col. 4, 5
Achis a ddywedodd wrth dywysogion y Philis- Rhuf. 12, 17
tiaid, Onid dymma Ddafydd gwâs Saul brenin Dan. 6, 4, 5
Israel, yr hwn a fu gyd a mi y dyddiau hyn, neu Phil. 2, 15
yr blynyddoedd hyn, ac ni chefais ddim yntho ef, 1 Pedr 2, 15
er y dydd y ffoawdd efe [attaf] hyd y dydd hwn? b Iob 1, 6
4 [b] * Er hynny tywysogion y Philistiaid a lid- Pen 14. 21 * 1 Cron. 12, 19
iasant wrtho ef, a thywysogion y Philistiaid a
ddywedasant wrtho ef, Tro di y gŵr hwn fel y
dychwelo iw le yr hwn y gosodaist ef arno, ac
na ddeled i wared gyd a ni i'r rhyfel, rhac ei fod
yn wrthwyneb-wr i ni yn y rhyfel: canys a pha
beth y rhynga hwn fodd iw feistr onid a phen-
nau y gwŷr hyn?
5 Onid hwn [yw] * Dafydd yr hwn y canasant * Pen 18, 7 a 21, 11
iddo yn y dawnsiau gan ddywedyd, Saul a da-
rawodd ei filoedd, a Dafydd ei fyrddiwn.
6 [c] Yna Achis a alwodd ar Ddafydd, ac a c Pen. 5 2
ddywedodd wrtho ef, [Fel mai] byw yw yr Ar- Num. 27, 17
glwydd diau dy [fod] ti yn union, ac yn ddâ yn
fyng-olwg i pan elit allan, a phan ddelit i mewn
gyd a mi yn y gwerssyll, canys ni chefais ynot
ddrygioni o'r dydd y daethost attafi hyd y dydd
hwn: eithr nid [wyt] ti wrth fodd y tywysogion.
7 Dychwel yn awr gan hynny a dos mewn

heddwch: ac na anfodlona dywysogion y Phi-
listiaid.
8 Yna y dywedodd Dafydd wrth Achis, Ond
beth a wneuthum i, a pheth a gefaist di yn dy wâs
o'r dydd yr hwn y bum o'th flaen di hyd y dydd
hwn, fel na ddelwn i ymladd yn erbyn gelyn-
ion fy arglwydd frenin.
9 Ac Achis a attebodd, ac a ddywedodd wrth
Ddafydd, Gwn mai da [ydwyt] ti yn fyng-olwg i,
megis angel Duw: ond tywysogion y Philistiaid
a ddywedasant, Na ddeued efe i fynu gyd a ni
i'r rhyfel.
10 Am hynny yn awr cyfod yn foreu, a gw-
eision dy feistr y rhai a ddaethant gyd a thi: pan
gyfodoch yn foreu, a goleuo i chwi, yna ewch
ymmaith.
dGen. 22, 14 11 [d] Felly Dafydd a gyfododd, efe ai wŷr i fy-
1Cron. 12, 19, 20 ned ymmaith y boreu, i ddychwelyd i dir y Phi-
1Cor. 10, 13 listiaid: a'r Philistiaid a aethant i fynu i Iezrebel.

## PEN. XXX.

*Yr Amaleciaid yn llosci, ac yn yspeilio Siclag.* 8 *Dafydd yn eu hymlid, yn eu difetha, ac yn eu hyspeilio hwythau.*

ePen. 29, 11 PAN [e] ddaeth Dafydd ai wŷr i Siclag y try-
2Sam. 1, 2 dydd dydd: yna yr Amaleciaid a ruthras-
Pen 15, 7, a 27, 8 ent, ar du yr dehau, ac ar Siclag, ac a darawsent
Ezec. 15, 15 Siclag, ac ai llocasent hi a thân.
a 33, 21 2 [f] Caeth-gludasent hefyd y gwragedd y rhai
fEsa. 27, 8 [oeddynt] ynddi, o fychan hyd fawr, ni laddasent
Hab. 3, 2 hwy neb, eithr dugasent [hwy] ymmaith, ac
Esa. 10, 5 aethent iw fflordd.
g Sal. 34, 19 a 42, 7 3 [g] Felly y daeth Dafydd ai wŷr i'r ddinas, ac
wele hi wedi ei llosci a thân: eu gwragedd hw-
ynt hefyd, ai meibion, ai merched a gaeth-glud-
asid ymmaith.
4 Yna y derchafodd Dafydd, a'r bobl y rhai
[oeddynt] gyd ag ef eu llef, ac a ŵylasant hyd
nad [oedd] egni ynddynt i ŵylo.
h Pen 27, 3 5 [h] Dwy wragedd Dafydd hefyd a gaeth-glud-
asid: Ahinoam yr Iezrebelies, ac Abigail gwraig
Nabal y Carmeliad.
iEx. 17, 4 6 [i] A bu yn gyfyng iawn ar Ddafydd, canys y
Ioan 8, 59 Sal. 62, 8 bobl a feddyliasant ei labuddio ef, o herwydd
a 39, 9 Pen 27, 1 chwerwase enaid yr holl bobl, pob un am ei
Hab 3, 17, 18 feibion, ac am ei ferched: ond Dafydd a ymgys-
2Cron. 20, 17 surodd yn yr Arglwydd ei Dduw.
Sal 56, 3 7 [j] A Dafydd a ddywedodd wrth Abiathar yr
Rhuf. 4, 20 offeiriad mab Ahimelec, Dŵg i mi attolwg yr
j Pen 23, 21 Ephod: ac Abiather a ddug yr Ephod at Ddafydd.
k Sal. 50, 15 8 [k] Yna Dafydd a ymgynghorodd a'r Arg-
Pen 28, 6 lwydd, gan ddywedyd, [A] erlidiafi ar ol y dorf
Sal. 22, 4, 5 hon? a oddiweddafi hi? ac efe a ddywedodd wr-
tho ef, Erlid, canys gan oddiweddid y goddi-
weddi, a chan waredu y gwaredi.
9 Felly Dafydd a aeth, efe a'r chwe chan ŵr y
rhai [oeddynt] gyd ag ef, a hwy a ddaethant hyd
afon Besor, a'r rhan arall a arhosasant [yno.]
10 A Dafydd a erlidiodd, efe a phedwar cant
o wŷr: (canys dau can-wr a safasant yn ol [sef]
y rhai a flinasent fel na allent fyned tros afon
Besor.)
11 [l] A hwy a gawsant Aipht-ddyn yn y maes,
ac ai dugasant ef at Ddafydd: roddasant hefyd
iddo ef fara, ac efe a fwyttaodd, a hwy ai diod-
asant ef a dwfr.
12 [m] A hwy a roddasant iddo ef ddarn o ffig-
us, a dau [gawell] o ressyng, ac efe a fwyttaodd,
ai yspryd a ddychwelodd atto ef, canys ni fwyt-
tase fara, ac ni yfase ddwfr dridiau a thair nos.
13 A Dafydd a ddywedodd wrtho ef, [Gwâs] i
bwy [wyt] ti, ac o ba le y [daethost] ti? ac efe a
ddywedodd, Llangc o'r Aipht [ydwyf] fi, [a]
gwas i ŵr o Amalec, a'm meistr a'm gadawodd,
o blegit i mi glefychu er ys tridiau bellach.
14 [n] Nyni a anrhaithiasom du yr dehau i Ce-
reth, a'r hyn [sydd] eiddo Iuda, a thu yr dehau
i Caleb: Siclag hefyd a loscasom ni a thân.
15 A Dafydd a ddywedodd wrtho, A ei di a mi
i wared at y dorf hon? yntef a ddywedodd, Twng
wrthifi i Dduw, na leddech fi, ac na roddech fi
yn llaw fy meistr, ac mi a âf a thi i wared at y
dorf hon.
16 [o] Ac efe ai dûg ef i wared, ac wele hwynt
wedi ymwascaru ar hŷd wyneb yr holl dir: yn
bwytta, ac yn yfed, ac yn llemmen, o herwydd
yr holl yspail fawr yr hon a ddygasent hwy o
wlâd y Philistiaid, ac o wlad Iuda.
17 [p] A Dafydd ai tarawodd hwynt o'r cyfnos
hyd bryd nawn drannoeth: ac ni ddiangodd un
o honynt, eithr pedwar cant o wŷr ieuaingc, y
rhai a farchogasant ar gamêlod; ac a ffoesant.
18 A Dafydd a achubodd yr hyn oll a ddu-
gase yr Amaleciaid: Dafydd hefyd a waredodd
ei ddwy wragedd.
19 Ac nid oedd yn eisieu iddynt, na bychan
na mawr, na mab, na merch, na [dim] o'r anrha-
ith, hyd yn oed yr hyn oll a ddugasent hwy gan-
ddynt: hynny oll, a ddûg Dafydd adref.
20 [q] Dûg Dafydd hefyd yr holl ddefaid, a'r
gwartheg: [ac ai] gyrasant o flaen ei yrr ef, a hwy
a ddywedasant, Dymma anrhaith Dafydd.
21 [r] A Dafydd a ddaeth at y dau can-wr y
rhai a flinasent fel nad allent fyned ar ôl Dafydd,
ac a barasid iddynt aros wrth afon Besor, a hwy a
aethant i gyfarfod Dafydd, ac i gyfarfod a'r bobl,
y rhai [oeddynt] gyd ag ef: a phan nessaodd Da-
fydd at y bobl, efe ai cyfarchodd hwynt.
22 [s] Yna'r attebodd pob gŵr drygionus, ac
eiddo'r fall o'r gwŷr yr rhai a aethent gyd a Daf-
ydd, ac a ddywedasant, O herwydd nad aethant
hwy gyd a ni, ni roddwn ni iddynt hwy [ddim]
o'r anraith yr hon a achubasom ni: eithr i bob
un ei wraig, ai feibion: am hynny dygant [hwynt]
ymmaith, ac ymadawant.
23 [t] Yna y dywedodd Dafydd, Ni waewch

chwi felly fy mrodyr: am yr hyn a roddes yr
Arglwydd i ni, yr hwn a'n cadwodd ni, ac a
roddes y dorf yr hon a ddaethe i'n herbyn ni
yn ein llaw ni.
Num. 24 [a] Pwy gan hynny a wrendu arnoch chwi
1,27 22,8 yn y peth hyn? canys un fath [fydd] rhann yr
hwn a elo i wared i ryfel, a rhann yr hwn a
arhoso gyd a'r dodrefn, hwy a gyd rannant.
25 Ac o'r dydd hwnnw allan efe a osododd
hyn yn gyfraith, ac yn farnedigaeth yn Israel
hyd y dydd hwn.
Sal.55. 26 [v] Pan ddaeth Dafydd i Siclag, efe a anfon-
ron.12 odd o'r anrhaith, i henuriaid Iuda, [sef] iw gy-
a.35 feillion gan ddywedyd, Wele i chwi anrheg o
anrhaith gelynion yr Arglwydd.
Pen 6 27 [w] [Sef] i'r rhai [oeddynt] yn Bethel, ac i'r
.15,48 rhai [oeddynt] yn Ramoth tu a'r dehau, ac i'r
rhai [oeddynt] yn Iather.
eut.3 28 [x] Hefyd i'r rhai [oeddynt] yn Aroer, ac i'r
a.34 rhai [oeddynt] yn Siphmoth, ac i'r rhai [oedd-
15,15 ynt] yn Estemoa.
a.27 29 [y] Ac i'r rhai [oeddynt] yn Rachal, ac i'r
a.1 rhai [oeddynt] yn ninasoedd y Ierahmeeliaid,
ac i'r rhai [oeddynt] yn ninasoedd y Ceneaid.
ron. 30 [z] Ac i'r rhai [oeddynt] yn Horma, ac i'r
9,17 rhai [oeddynt] yng-Horasan, ac i'r rhai [oedd-
ynt] yn Athach.
ra. 31 [a] Ac i'r rhai [oeddynt] yn Hebron, ac i'r holl
3 leoedd y rhai y rhodiase Dafydd efe ai wŷr yn-
ddynt.

## PEN. XXXI.

*Dihenydd Saul, a'i feibion.*

A'R [b] [a] Philistiaid oeddynt yn ymladd yn
.29 erbyn Israel, a gwŷr Israel a ffoasant rhac
ron y Philistiaid, ac a syrthiasant yn archolledic
ym mynydd Gilboa.
12. 8,4 2 [c] A'r Philistiaid a erlidiasant Saul, ai feib-
5.9 ion: a'r Philistiaid a laddasant Ionathan, Abina-
14 dab hefyd, a Malcissua meibion Saul.
3 [d] A thrwmhaodd y rhyfel yn erbyn Saul,
a'r perchen bwâu ai cawsant ef, ac efe a ofnodd
yn ddirfawr rhac y saethyddion.
4 [e] Yna y dywedodd Saul wrth glydudd ei e Barn.9,
arfau, Tynn dy gleddyf a thrywana fi ag ef, rhac 55
i'r rhai dienwaededic ymma ddyfod a'm trywanu
i, a'm gwaradwyddo, ond ni fynne ei eswyn ef,
canys efe a ddychrynnase yn ddirfawr: am
hynny Saul a gymmerodd y cleddyf [f] ac a syrth-
iodd arno ef.
5 Pan welodd ei eswyn ef farw o Saul: yna
yntef hefyd a syrthiodd ar ei gleddyf, ac a fu
farw gyd ag ef.
6 [g] Felly y bu farw Saul, ai dri mab ef, ai es- g Preg. 9 2
wyn, ai holl wŷr ef y dydd hwnnw ar un waith. Iob 21,11
7 [h] Pan welodd gwŷr Israel y rhai [oeddynt] o'r 2 Bren.23 29
tu hwnt i'r dyffryn, a'r rhai [oeddynt] o'r tu hwnt Sal.73,4 1 Cron
i'r Iorddonen ffoi o wŷr Israel, a marw Saul ai 10,6
feibion: yna y gadawsant y dinasoedd, ac y ffo- h Pen.27, 6
asant, a'r Philistiaid a ddaethant, ac a bresswyli-
asant ynddynt hwy.
8 A'r borau pan ddaeth y Philistiaid i yspeilio
y lladdedigion: yna y cawsant Saul ai dri mab,
yn gorwedd ym mynydd Gilboa.
9 [i] A hwy o dorrasant ei benn ef, ac a ddiosc- i 1 Cron 10,8
asant ei arfau ef, ac a anfonasant i wlâd y Phi- Pen 17, 64 a 21,9
listiaid o bob parth, i fynegu yn nhŷ eu delwau
hwynt, ac ym mysc y bobl.
10 [j] A gosodasant ei arfau ef yn nhŷ Astaroth, j Barn. 2, 13
ai gorph ef a hoeliasant hwy ar fûr Bethsan. 2 Sam. 21 12
11 [k] Pan glybu trigolion Iabes Gilead hynny, Ios.17,11 Barn. 1,
sef yr hyn a wnaethe y Philistiaid i Saul, 27
12 [l] Yna'r holl wŷr nerthol a gyfodasant, ac k Pen 11, 11
a rodiasant yr holl nôs, ac a ddugasant ymmaith l 2 Cron 16,14
gorph Saul, a chyrph ei feibion ei oddi ar fûr Ier.34,5
Bethsan: ac a ddaethant i Iabes, ac ai llosc- Ada 13
asant hwynt yno.
13 [m] A hwy a gymmerasant eu hescyrn hwynt, m 2 Sam. 2,4
ac ai claddasant tann brenn yn Iabes: ac a ym-
prydiasant saith niwrnod.

---

# YR AIL LLYFR I
# SAMUEL.

## PEN. I.

*1 Un yn dwyn newydd i Ddafydd o farwolaeth Saul. 14 Gwobr yr hwn ai dug. 17 Galar-nad Dafydd am Saul, ac Ionathan.*

AC yn ol marwolaeth Saul pan ddychwel-
ase Dafydd [a] o ladd yr Amaleciaid: [a] we-
di aros o Ddafydd dden-ddydd yn Siclag,
2 [b] Yna y trydydd dydd wele ŵr yn dyfod
o'r gwersyll oddi wrth Saul, a'i ddillad wedi
eu rhwygo, a phridd ar ei benn: a phan ddaeth
efe at Ddafydd, yna efe a syrthiodd i lawr, ac
a ymgrymmodd.
3 A Dafydd a ddywedodd wrtho ef, O ba le
y daethost di? yntef a ddywedodd wrtho ef,
O wersyll Israel y diengais i.
4 Yna y dywedodd Dafydd wrtho ef, Beth
yw'r matter mynega attolwg i mi? yntef a ddy-
wedodd, Y bobl a ffoawdd o'r rhyfel, a llawer

l, ac a fuant feirw:
fab a fuant feirw.
dd wrth y llangc yr
] iddo ef: Pa fodd y
Ionathan ei fab.
edd yn mynegu iddo
ldodd i mi ddyfod i
aul oedd yn pwyso
y cerbydau a'r mar-

ol, ac am canfu i: ac
dywedais Wele fi.
ifi, Pwy [ydwyt] ti?
ho ef, Amaleciad

wrthifi, Saf attolwg
hryn a'm daliodd i,
iid ynofi etto.
ef, ac ai lleddais ef,
efe byw ar ol ei
coron yr hon [oedd]
yr hon [oedd] am ei
nt ymma at fy ar-

dd yn ei ddillad, ac
holl wŷr hefyd y

wylasant, ac ym-
Saul, ac am Iona-
Arglwydd, ac am dŷ
yrthio trwy gleddyf.
dd wrth y llangc yr
] iddo ef, O ba le i'th
wedodd, Mab i ŵr
i.
afydd wrtho ef: * Pa
law i ddifetha enei-

ar un o'r gweision,
uthra iddo ef: ac efe
farw.
afydd wrtho ef, [By-
n dy hun: canys dy
dd yn dy erbyn gan
neiniog yr Arglwydd.
lodd yr alar-nad hon
i fab ef.
am ddyscu meibion
y mae yn scrifenne-

ld Israel, efe a arch-
di: pa fodd y cwym-

hyn] yn Gath, na fy-
on: rhac llawenychu
ac gorfoleddu o fer-

21 ° Oh fynyddodd Gilboa, na [ddescyned] ar-
noch chwi wlith na glaw, na meusydd o offrym-
mau: canys yno y syrthiodd tarian y cedyrn,
[sef] tarian Saul, fel pe buasai heb ei eneinio
ag olew.
22 Oddi wrth waed lladdedigion, oddi wrth
frasder cedyrn ni phlygodd bŵa Ionathan yn
ôl: a chleddyf Saul ni ddychwelodd yn wâg.
23 p Saul ac Ionathan [oeddynt] gariadol ac
annwyl yn eu bywyd, ac yn eu marwolaeth ni
wahanwyd hwynt: cynt oeddynt na'r eryrod,
[a] chryfach oeddynt na'r llewod.
24 q Merched Israel wylwch am Saul: yr hwn
oedd yn eich dilladu chwi ag scarlet gyd ag
hyfrydwch, yr hwn oedd yn gwisco addurn-
wisc aur ar eich gwisc chwi.
25 r Pa fodd y cwympodd y cedyrn yng-hanol
uol y rhyfel? Ionathan a laddwyd ar dy uchelfa-
oedd.
26 s Gofid [sydd] arnafi am danati fy mrawd
Ionathan, cû iawn fuost gennyfi: rhyfeddach oedd
dy gariad tua ag attafi na chariad gwragedd.
27 t Pa fodd y syrthiodd y cedyrn, ac y difeth-
wyd arfau rhyfel?

## PEN. II

*Eneiniad Dafydd yn Hebron ac Iuda. 8 Isboseth yn llywodraethu Israel trwy help Abner. 17 Gwŷr Dafydd yn gorchfygu gwŷr Abner.*

AC u yn ôl hyn yr ymgynghorodd Dafydd
a'r Arglwydd gan ddywedyd, A âfi i fynu
i un o ddinasoedd Iuda? a'r Arglwydd a ddy-
wedodd wrtho ef, Dôs i fynu: yna y dywedodd
Dafydd, I ba le yr âfi i fynu: dywedodd yntef, I
Hebron.
2 v Yna Dafydd aeth i fynu yno, ai ddwy wr-
agedd hefyd, Ahinoam yr Iezraelithes, ac Abi-
gail gwraig Nabal y Carmeliad.
3 w A Dafydd a ddug i fynu ei wŷr y rhai [o-
eddynt] gyd ag ef, pob un ai deulu: a hwy
a arhosasant yn ninasoedd Hebron.
4 x Yna gwŷr Iuda a ddaeant, ac a eneiniasant
ant Ddafydd yno yn frenin ar dŷ Iuda: a my-
negasant i Ddafydd gan ddywedyd, Mai gwŷr
Iabes Gilead * a gladdasent Saul.
5 y A Dafydd a anfonodd gennadau at wŷr
Iabes Gilead, ac a ddywedodd wrthynt hwy,
Bendigedic [ydych] chwi i'r Arglwydd, y rhai a
wnaethoch y drugaredd hon a'ch arglwydd
Saul, ac ai claddasoch ef.
6 z Ac yn awr yr Arglwydd a wnelo a chwi
drugaredd, a gwirionedd; minne hefyd a dalaf i
chwi am y daioni hwn, o blegit i chwi wneuthur
y peth hyn.
7 Yn awr gan hynny, ymnerthed eich dwylo,
a byddwch feibion grymmus: canys marw a fu
eich arglwydd Saul, a thŷ Iuda a'm heneiniasant
iasant innef yn frenin arnynt hwy.

8 [a] Ond Abner mab Ner tywysog y filwriaeth
yr hon [oedd] gan Saul a gymmerth Isboseth
fab Saul, ac ai dug ef i Mahanaim.
9 [b] Ac ai gosododd ef yn frenin ar Gilead, ac
ar yr Assuriaid, ac ar Iezrahel; ac ar Ephraim,
ac ar Beniamin, ac ar holl Israel.
10 [c] Mab deugain mlwydd [oedd] Isboseth
mab Saul, pan deyrnasodd efe ar Israel, a dwy
flynedd y teyrnasodd efe: tŷ Iuda yn unig oedd-
ynt gyda Dafydd.
11 [d] (A rhifedi y dyddiau y rhai y bu Dafydd
yn frenin yn Hebron ar dŷ Iuda oedd saith
mlynedd, a chwe mis.)
12 [e] Ac Abner mab Ner, a gweision Isboseth fab
Saul a aethant allan o Mahanaim i Gibeon.
13 [f] Ioab hefyd mab Serfia, a gweision Dafydd
a aethant allan, ac a gyfarfuant a hwynt wrth
lynn Gibeon; a'r rhai hyn a eisteddasant wrth y
llynn o'r naill du, a'r lleill wrth y llynn o'r tu arall.
14 [g] Yna Abner a ddywedodd wrth Ioab, Cy-
foded yn awr y llangciau, a chwarâant ger ein
bronnau ni: a dywedodd Ioab, Cyfodant.
15 Yna y cyfodasant, ac yr aethant trosodd
dan rif: deuddec o Beniamin, sef oddiwrth Is-
boseth fab Saul, a deuddec o weision Dafydd.
16 A phob un a ymaflodd ymhen ei gilydd ac
[a yrrodd] ei gleddyf yn ystlys ei gyfell, felly y
cyd-syrthiasant hwy: am hynny y galwyd y lle
hwnnw Erw'r cryfion yr hon [sydd] yn Gibeon.
17 [h] A bu ryfel caled iawn y dwthwn hwnnw:
a tharawyd Abner, a gwŷr Israel o flaen gwei-
sion Dafydd.
18 [i] A thri mab Serfia oeddynt yno, [sef] Ioab,
ac Abisai, ac Asahel; ac Asahel [oedd] mor
fuan ar ei draed ag un o'r iwrchod y rhai [ydynt]
yn y maes.
19 [j] Ac Asahel a ddilynodd ar ôl Abner: ac
wrth fyned ni throdd ar y tu dehau, nac ar y tu
asswy oddi ar ôl Abner.
20 Yna Abner a edrychodd oi ôl ac a ddywed-
odd, Ai tydi [sydd] ymma Asahel: a dywedodd
yntef [Iê] myfi.
21 [k] Yna y dywedodd Abner wrtho ef, Trô ar
dy law ddehau, neu ar dy law asswy, a dàl it un o'r
llangciau, a chymmer it ei arfau ef: ond ni fynne
Asahel droi oddi ar ei ôl ef.
22 Ac Abner a ddywedodd eilwaith wrth As-
ahel, Cilia di oddi ar fy ôl i: i ba beth y tarawaf
di i lawr, canys pa fodd y codwn fyng-olwg ar
Ioab dy frawd ti [wedi hynny?]
23 [l] Pan wrthododd efe ymado, yna Abner ai
tarawodd ef a bôn y waiw-ffon tan y bummed
[ais,] a'r waiw-ffon a aeth allan o'r tu cefn iddo
ef, fel y syrthiodd efe yno, ac y bu farw yn ei lê:
a phawb a'r oedd yn dyfod i'r lle yr hwn y syrth-
iase Asahel ynddo, ac y buase efe farw, a safasant.
24 Ioab hefyd, ac Abisai a erlidiasant ar ôl
Abner: pan fachludodd yr haul yna hwy a
ddaethant hyd frynn Ammah yr hwn [sydd]
gyferbyn a Giah tu ag anialwch Gibeon.
25 A meibion Beniamin a ymgasclasant ar ol
Abner, ac yr oeddynt yn un fintai: ac a safasant
er benn un brynn.
26 [m] Yna Abner a alwodd ar Ioab, ac a ddyw- mAdn 19
edodd, Ai byth y dinistria'r cleddyf? Oni wydd- Act.7,26
ost ti mai chwerwder fydd yn y diwedd? hyd
pa bryd gan hynny y byddi heb ddywedyd wrth y
bobl am ddychwelyd oddi ar ol eu brodyr hwynt?
27 [n] A dywedodd Ioab, Fel mai byw yw Duw nAdn 18
oni buase [yr hyn] a ddywedaist, diau yna y Diar. 17, 14
boran'r aethe y bobl i fynu, bob un oddi ar ol ei
frawd.
28 [o] Felly Ioab a udcanodd mewn udcorn, a'r oPen.3,1
holl bobl a safasant, ac nid erlidiasant mwyach
ar ol Israel, ac ni chwanegasant ymladd
mwyach.
29 Yna Abner ai wŷr a aethant drwy'r rhos
ar hyd y nos honno: ac a aethant tros yr Ior- † Neu
ddonen, a thrammwyasant holl Bithron,† a gwlad y rhaniadau
daethant i Mahanaim. Can. 2,17
30 Ac Ioab a ddychwelodd oddi ar ol Abner,
ac a gasclodd yr holl bobl: ac yr oedd yn eis-
ieu o weision Dafydd bedwar gŵr ar bymthec
ac Asahel. pPen.3,1
31 [p] A gweision Dafydd a darawsant o Benia- Diar. 16, 9
min, ac o wŷr Abner drychant, a thri ugain 2 Bren 20, 11
gŵr [fel] y buant feirw. Esa. 5,18
32 [q] A hwy a ddugasant Asahel, ac ai cladd- a 26, 11 Sal. 28, 5
asant ef ym meddrod ei dâd yr hwn [oedd] yn qSal. 91, 11 a 112,5
Bethlehem: ac Ioab ai wŷr a rodiasant ar hŷd 2Cron 15, 2
y nos, ac yn Hebron y golenodd arnynt hwy. 1Sam.18, 14

## PEN III.

*Y plant a ennillodd Dafydd yn Hebron. 12 Dafydd (wedi i Abner droi atto ef) yn cael ei wraig Michol adref. 26 Ioab yn lladd Abner trwy frâd.* Ezec. 34, 16 Eph.5,15 Pen. 5, 1

A [r] BU y rhyfel yn hir rhwng tŷ Saul a thŷ r Gen. 3, 15
Ddafydd: a Dafydd oedd yn myned gryf- Eph 6,12 Gal. 5,17
ach gryfach, ond tŷ Saul oedd yn myned wan- Iob 8, 7
nach wannach. Diar. 4, 19
2 [s] A meibion a anwyd i Ddafydd yn Hebron: Dan.2,34 Est. 6.13
ai gyntafanedic ef oedd Amnon o Ahinoam yr 2 Thes. 2, 8
Iezrahelithes. s 1 Cron 3, 1
3 Ai ail [mab] ef [oedd] Chilab † o Abigail Gen.49,3
gwraig Nabal y Carmeliad: a'r trydydd [oedd] † Neu Daniel
Absalom‡ mab Maacah ferch Talmai brenin 1Cron 3, 1
Gesur. Pen. 2. 2
4 [t] A'r pedwerydd [oedd] Adonia mab Hag- ‡ Hynny yw Heddwch y tad
gith: a'r pummed [oedd] Sephatiah mab Abital.
5 A'r chweched [oedd] Ithream o Egla gwraig Pen 15,1 14
Ddafydd: y rhai hyn a anwyd i Ddafydd yn Deut. 3, 14
Hebron.
6 [u] A thra'r ydoedd y rhyfel rhwg tŷ Saul a tBren. 1, 5
thŷ Ddafydd, yr oedd Abner yn ymeguio dros uAdn 2
dŷ Saul. Phil.2.21

7 v Ond i Saul y [buase] ordderch-wraig, ai
henw Rispa merch Aiah: ac [Isboseth] a ddy-
wedodd wrth Abner, Pa ham yr aethost i mewn
at ordderch-wraig fy nhad?
8 w Yna y digiodd Abner yn ddirfawr o her-
wydd geiriau Isboseth, ac a ddywedodd, Ai
pen cî [ydwyfi?] (yr hwn ydwyf heddyw'n er-
byn Iuda yn gwneuthur trugaredd a thŷ Saul
dy dâd ti, ai frodyr ef, ac ai gyfeillion, a heb dy
roddi di yn llaw Dafydd) pan osodaist i'm her-
byn fai [am] y wraig hon heddyw?
9 x Fel hyn y gwnelo Duw i Abner, ac fel hyn
ychwanego iddo ef: oni megis y tyngodd yr
Arglwydd wrth Ddafydd, felly y gwnaf iddo ef.
10 y Gan droi y frenhiniaeth oddi wrth dŷ
Saul, a derchafu gorsedd-faingc Dafydd ar Is-
rael, ac ar Iuda, o Ddan hyd Beerseba.
11 Ac ni feiddiodd efe mwyach atteb gair i
Abner rhac ei ofn ef.
12 z Yna Abner a anfonodd genhadau at Dda-
fydd trosto ei hun gan ddywedyd: Eiddo pwy
yw 'r wlâd? [a] chan ddywedyd, Gwna di gyng-
rair a mi, ac wele fy llaw i [fydd] gyd a thi i
droi attat ti holl Israel.
13 a A dywedodd yntef Da, myfi a wnaf gyf-
ammod a thi: etto un peth yr ydwyfi yn ei gei-
sio gennit, gan ddywedyd: Ni weli fy wyneb oni
ddygi di Michol ferch Saul ger fy mron i pan
ddelech i'm hedrych.
14 b Yna yr anfonodd Dafydd gennadau at Is-
boseth fab Saul gan ddywedyd: Dyro [i mi]
fyng-wraig Michol yr hon a ddyweddiais i mi
am gant o flaen-grwyn y Philistiaid.
15 c Ac Isboseth a anfonodd, ac ai dug hi oddi
wrth [ei] gŵr [sef] oddi wrth Phaltiel fab Lais.
16 d Ai gŵr a aeth gyd a hi, gan fyned ac wy-
lo ar ei hol hi hyd Bahurim: yna y dywedodd
Abner wrtho ef, Dos [a] dychwel, ac efe a ddych-
welodd
17 Ac Abner a lefarodd wrth henuriaid Is-
rael gan ddywedyd: Cyn hyn yr oeddech chwi 'n
ceisio Dafydd yn frenin arnoch.
18 e Ac yn awr gwnewch [hynny:] canys yr
Arglwydd a lefarodd am Ddafydd gan ddywe-
dyd, Trwy law Dafydd fyng-wâs y gwaredaf fy
mhobl Israel o law y Philistiaid, ac o law eu
holl elynnion hwynt.
19 f Dywedodd Abner [hyn] hefyd wrth Ben-
iamin: ac yna 'r aeth Abner i ymddiddan a Daf-
ydd yn Hebron am yr hyn oll [oedd] dda yng-
olwg Israel, ac yng-olwg holl dŷ Beniamin.
20 g Felly Abner a ddaeth at Ddafydd i Hebron
ac ugain-wr gyd ag ef: a Dafydd a wnaeth wledd
i Abner, ac i'r gwŷr y rhai [oeddynt] gyd ag ef.
21 h Yna y dywedodd Abner wrth Dafydd,
Cyfodaf fel yr elwyf, ac y casclwyf holl Israel
at fy arglwydd frenin, fel y gwnant gyfammod
a thi, ac y teyrnasech di yn ol yr hyn oll a
chwennycho dy galon, yna Dafydd a ollyngodd
Abner, ac efe a aeth mewn heddwch.
22 Ac wele weision Dafydd, ac Ioab yn dyfod
oddi wrth y dorf, ac anrhaith fawr a ddugasent
hwy ganddynt: ond nid oedd Abner gyd a
Dafydd yn Hebron, canys efe ai gollyngase ef,
ac yntef a aethe mewn heddwch.
23 Yna Ioab a'r holl lu yr hwn [oedd] gyd ag
ef a ddaethant: a mynegwyd i Ioab gan ddy-
wedyd, Abner mab Ner a ddaeth at y brenin,
ac efe ai gollyngodd ef i fyned mewn heddwch.
24 Ac Ioab a ddaeth at y brenin, ac a ddy-
wedodd, Beth a wnaethosti? wele daeth Abner
attat ti, pa ham y gollyngaisti ef i fyned ym-
maith?
25 i Ti a adwaenit Abner fab Ner, mai i'th
dwyllo di y daeth efe, ac i wybod dy fynediad,
a'th ddyfodiad, ac i wybod yr hyn oll yr yd-
wyt ti yn ei wneuthur.
26 j Yna Ioab a aeth allan oddi wrth Dda-
fydd, ac a anfonodd gennadau ar ol Abner, a
hwy ai dugasant ef yn ol oddi wrth ffynnon
Siriah heb wybod i Ddafydd.
27 Pan ddychwelodd Abner i Hebron, * yna
Ioab ai trodd ef i fewn y porth i ymddiddan ag
ef mewn heddwch, ac ai tarawodd ef yno, [tan]
y bummed [ais] fel y bu efe farw, o herwydd
*gwaed Ashael ei frawd ef.
28 k Ac wedi hynny y clybu Dafydd, ac y
dywedodd, Dieuog [ydwyfi,] a'm brenhiniaeth
gyd a'r Arglwydd byth, oddi wrth waed Abner
fab Ner
29 l Syrthied [y gwaed] ar benn Ioab, ac ar
holl dŷ ei dad ef, fel na phallo [fod un] o dŷ
Ioab yn ddiferllyd, neu yn wahan-glwyfus, neu
'n ymgynnal wrth fagl, neu yn syrthio ar gledd-
yf, neu mewn eisieu bara.
30 m Felly Ioab ac Abisai ei frawd ef a ladda-
sant Abner; (o herwydd lladd o honaw ef Asahel
eu brawd hwynt mewn rhyfel yn Gibeon.)
31 n A Dafydd a ddywedodd wrth Ioab, ac
wrth yr holl bobl y rhai [oeddynt] gyd ag ef,
Rhwygwch eich dillad, ac ymwregyswch mewn
sach-liain, a galerwch o flaen Abner; a'r brenin
Dafydd oedd yn myned ar ôl yr elor.
32 o Pan gladdasant hwy Abner yn Hebron;
yna 'r brenin a ddyrchafodd ei lêf ac a wylodd ar
fedd Abner, yr holl bobl hefyd a wylasant.
33 A'r brenin a alarnadodd am Abner, ac a
ddywedodd; Ai fel y mae 'r ynfyd yn marw y
bydd marw Abner?
34 Dy ddwylo nid [oeddynt] yn rhwym, ac nid
oedd dy draed wedi rhoddi mewn egwydydd,
syrthiaist fel y syrthie [un] o flaen meibion en-
wir; a'r holl bobl a chwanegasant wylo am
dano ef.

Pen. 12 35 [p]Yna y daeth yr holl i bobl i beri i Ddafydd
r. 16,7 fwytta bara a hi etto yn ddydd: ond Dafydd
n.1,12 a dyngodd gan ddywedyd, Fel hyn y gwnelo
Duw i mi, ac fel hyn y chwanego efe os arch-
waethaf fara na dim oll cyn machludo'r haul.
36 A'r holl bobl a wybuant [hynny,] a da oedd
[hyn] yn eu golwg hwynt: a'r hyn oll a wnaeth
y brenin oedd dda yng-olwg y bobl.
37 Yna'r holl bobl, a holl Israel y diwrnod
hwnnw a wybuant, na ddarfuase o fodd y brenin
ladd Abner fab Ner.
38 A'r brenin a ddywedodd wrth ei weision,
Oni wyddoch chwi i Dywysog, ac i [ŵr] mawr
syrthio heddyw yn Israel?
Sam. 39 [q]A minne [ydwyf] eiddil, a brenin [newydd]
r. 21, eneiniog, a'r gwŷr hyn meibion Serfia ydynt le-
n. 19 wach nam fi: yr Arglwydd a dalo i'r hwn a wn-
aeth y drwg, yn ol ei ddrygioni.

## PEN. IV.

*Baanah a Rechab yn lladd Isboseth. 12 A Dafydd yn peri eu lladd hwythau.*

.17, PAN [r]glybu mab Saul farw o Abner yn
Hebron yna ei ddwylo ef a laesasant: a
4,5 3, holl Israel a ddychrynnasant.
15,7 2 [s]A dau wr oeddynt gan fab Saul yn dywy-
n.3, sogion [ar] y torfoedd, enw un [oedd] Baanah,
n.3 ac enw 'r ail Rechab meibion Rimmon y Beer-
0,17 rothiad o feibion Beniamin: canys Beeroth hefyd
.11, a gyfrifasyd gyd a Beniamin.
3 [t]A'r Beerothiaid hyn a ffoasent i Gittaim:
9,3 ac a fuasent yno yn ddieithriaid hyd y dydd hwn.
29, 4 [u]Ac i Ionathan fab Saul [yr oedd] mab cloff:
mab pum mlwydd oedd efe pan ddaeth y gair
am Saul ac Ionathan o Iezrael, yna ei fammeth
ai cymmerth ef, ac a ffodd, a bu wrth fryssio o
honi i ffoi, yna efe a syrthiodd fel y cloffodd efe,
26, ai enw [oedd] Mephiboseth.
.6, 5 [v]A meibion Rimmon y Beerothiad [sef]
11 Rechab a Baanah a aethant, ac a ddaethant pan
wresogase y dydd i dŷ Isboseth: ac efe oedd yn
12, gorwedd ar wely ganol dydd.
23 6 [w]Ac wele hwy ddaethant i mewn i ganol y
2 ,2 tŷ [fel] rhai yn prynnu gwenith, ac hwy ai taraw-
sant ef tann y bumed [asen:] yna Rechab a Baa-
3,5 nah ei frawd a ddiangasant.
4 7 [x]Pan ddaethant i'r tŷ, yna efe oedd yn gor-
wedd ar ei wely o fewn stafell ei wely, ac hwy
ai tarawsant ef, ac ai lladdasant ef, ac a dorrasant
ei ben ef: ac a gymmerasant ei ben ef, ac a ger-
29 ddasant [ar hyd] ffordd y rhos ar hyd y nos.
8 [y]Ac hwy a ddugasant ben Isboseth at Dda-
20 20 fydd i Hebron, ac a ddywedasant wrth y brenin,
Wele benn Isboseth fab Saul dy elyn di 'r hwn
5 a geisiodd dy einioes di; a'r Arglwydd a roddes
i'm harglwydd frenin ddial y dydd hwn ar Saul,
9, ac ar ei hâd ef.
9 [z]Yna Dafydd a attebodd Rechab, a Baanah
ei frawd meibion Rimmon y Beerothiad, ac a
ddywedodd wrthynthwy, [Fel] y mae byw'r Argl-
wydd yr hwn a ryddhaodd fy enaid o bob cyf-
yngdra, aPen.1,4 5, 10, 15
10 [a]Pan fynegodd [un] i mi gan ddywedyd,
Wele bu farw Saul, (ac efe oedd megis un yn
dwyn llawen-chwedl yn ei olwg ei hun) yna ym-
aflais ynddo, a lleddais ef yn Siclag: yr hwn
[a dybiase] y rhoddaswn iddo obrwy am ei gen-
nadwriaeth. bGen.9,5
11 [b]Pa faint mwy [y gwnaf i] ddynion annuw- Sal. 9, 12
iol [y rhai a] laddasant ŵr cyfion yn ei dŷ, ar Ezec. 3, 18, 20
ei wely? yn awr gan hynny oni cheisiaf ei waed
ef oddi ar eich llaw chwi? ac [oni] thorraf chwi
ymaith o'r tir? cMat.7,2
12 [c]Yna y gorchymynnodd Dafydd i'w lan- Deut.21, 23
gciau eu lladd hwynt, ac hwy a dorrasant eu
dwylo hwynt, ai traed, ac ai crogasant hwy *Pen. 3, 32
uwch ben y llyn yn Hebron: a phen Isboseth a 1 Cro. 11 1
gymmerasant hwy, ac ai claddasant ym medd- Sal. 97,1
rod *Abner yn Hebron.

## PEN. V.

*Eneiniad Dafydd yn frenin ar Israel. 7 Dafydd yn ennull ymddiffynfa Sion. 19 ac yn gorchfygu y Philistiaid ddwywaith.* dDat. 11 15

YNA[d] holl Israel a ddaethant at Dafydd i He- dDeu.17 15
bron: ac a lefarasant gan ddywedyd, Wele
dy ascwrn di, a'th gnawd di ydym ni. e 1 Sam. 18 15
2 [e]Cyn hyn hefyd pan oedd Saul yn frenin Num.27, 17
arnom ni ti oeddit yn rheoli Israel: a dywedodd 1Sam.16, 11
yr Arglwydd wrthit ti, Ti *a borthi fy mhobl Is- Ioan 10,3 4, 10
rael, a thi a fyddi yn flaenor ar Israel.
3 [f]Felly holl henuriaid Israel a ddaeth at y *Sal. 78, 71
brenin i Hebron, a'r brenin Dafydd a wnaeth fEx.3,16
gyfammod a hwynt yn Hebron ger bron yr Ar- Barn.11, 11
glwydd: ac hwy a eneiniasant Ddafydd yn fren- Pen. 2, 4
in ar Israel. Sal. 2,6,7 gGen.31 46
4 [g]Mab deng mlwydd ar hugain [oedd] Daf-
ydd pan deyrnasodd efe [gyntaf: a] deugain
mlynedd y teyrnasodd efe. *Pen. 2, 11
5 Yn Hebron* y teyrnasodd efe ar Iuda
saith mlynedd, a chwe mîs: ac yn Ierusalem y
teyrnasodd efe dair blynedd ar ddec ar hugain
ar holl Israel, a Iuda. iHeb.7,1 Barn. 1,8
6 [i]A'r brenin ai wŷr a aethant i Ierusalem at yr Ier.37,10
Iebusiaid presswylwyr y wlâd: y rhai a lefarasant
wrth Ddafydd gan ddywedyd, Ni ddeui di ymma
oni thynni ymaith y deillion, a'r cloffion [y rhai
ydynt] yn dywedyd, Ni ddaw Dafydd ymma.
7 Ond Dafydd a ennillodd amddeffynfa Sion:
honno [yw] dinas Ddafydd. k1 Cron. 11, 6
8 [k](A dywedase Dafydd y dwthwn hwnnw, Can. 6, 4
Pwy bynnac a elo ar rigolau [y tai,] ac a daru yr
Iebusiaid, a'r cloffion, a'r deillion y rhai sydd
gâs gan enaid Dafydd: am hynny y dywedas-
ant, Y dall, a'r cloff ni ddaw i mewn i'r tŷ). l1 Bren. 9, 15
9 [l]A Dafydd a arhosodd yn yr amddeffynfa,
ac ai galwodd hi dinas Dafydd; a Dafydd a ad-

Milo, hyd i mewn.
),]ganfyned,a chyny-
noedd[oedd]gydagef.
ns a anfonodd gen-
cedr, seiri prennau, a
dŷ i Ddafydd.
l mai 'r Arglwydd ai
ael: ac a dderchafase
ei bobl Israel.
odd etto *ordderch-
erusalem, wedi iddo
d i Ddafydd feibion

y rhai a anwyd iddo
h, a Sobah, Nathan

h, Nepheg,ac Iaphia.
liada, ac Eliphalet.
tiaid iddynt eneinio
, yna 'r holl Philist-
sio Dafydd: pan gly-
fe a aeth i wered i'r

ethant: ac a ymleda-

horodd a'rArglwydd
u at y Philistiaid? a
i? a'r Arglwydd a
d, Dos i fynu, canys
listiaid yn dy law di.
Baal Perazim, a Da-
no, ac a ddywedodd,
fyng-elynnion o'm
froedd: am hynny y
nnw Baal Perazim.
t hwy eu delwau: a
hwynt.
chwanegasant ddy-
yn nyffryn Rephaim.
ynghorodd a'r Ar-
odd, Na ddos i fynu;
ynt, a thyret arnynt
d.
wst cerddediad ym
hwyn: canys yna yr
flaen di i daro gwer-

megis y gorchymyn-
c a darawodd y Phili-
lech di i Gazer.

VI

*ch o dŷ Abinadab. 14 Daf-*
. 16 *A Michol am hynny yn*

etto 'r holl etholedig-
ng-mil ar hugain,
d, ac a aeth, a'r holl

ibobl y rhai[oeddynt]gyd ag efo||Baal Iudai ddw-
yn i fynu oddi yno Arch Dduw, *enw 'r hon a
elwir[ar]enw Arglwydd y lluoedd yr hwn sydd
yn aros arni [rhwng] y Cerubiaid.
3 [b] A hwy o osodasant Arch Dduw ar fenn
newydd ac ai dugasant hi o dŷ Abinadab yr
hwn[oedd] yn Gibeah: Uzza hefyd, ac Ahio
meibion Abinadab oeddynt yn gyrru y fenn
newydd.
4 A hwy ai dugasant hi * o dŷ Abinadab yr
hwn[sydd]yn Gibeah, gyd ag Arch Dduw: ac
Ahio oedd yn myned o flaen yr Arch.
5 [c] Dafydd hefyd a holl dŷ Israel oeddynt yn
chwarae ger bron yr Arglwydd a phob [offer] o
goed ffynnidwydd: sef a thelynau, ac a nablau,
ac a thympanau, ac ag udcyrn, ac a cymbalau.
6 Pan ddaethant hyd lawr dyrnu * Nachon:
yna Uzza a estynnodd ei law at Arch Dduw, ac a
ymaflodd ynddi hi, canys'r ŷchen a ledpeiasent.
7 [d] A digofaint yr Arglwydd a lidiodd wrth
Uzza, a Duw ai tarawodd ef yno am yr amry-
fusedd hyn: ac efe a fu farw yno wrth Arch Dduw.
8 [e] A bu ddrwg gan Ddafydd am i'r Arglwydd
rwygo rhwygiad yn Uzza: ac efe a alwodd y lle
hwnnw, Perets Uzza hyd y dydd hwn.
9 [f] A Dafydd a ofnodd yr Arglwydd y dydd
hwnnw, ac a ddywedodd, Pa fodd y daw Arch
yr Arglwydd attafi i mewn?
10 Ac ni fynne Dafydd droi Arch yr Arglwydd
atto ef i ddinas Dafydd: ond Dafydd a barodd
ei throi hi i dŷ Obed Edom* y Gethiad.
11 [g] Ac Arch yr Arglwydd a arhosodd yn
nhŷ Obed Edom y Gethiad dri mis: a'r Arglwydd
a fendithiodd Obed Edom, ai holl dŷ.
12 [h] A mynegwyd i'r brenin Dafydd gan ddy-
wedyd, Yr Arglwydd a fendithiodd dŷ Obed
Edom, a'r hyn oll [oedd] ganddo er mwyn
Arch Dduw: yna Dafydd a aeth, ac a ddûg i fynu
Arch Dduw o dŷ Obed Edom, i ddinas Dafydd
mewn llawenydd.
13 [i] A phan gychwynnodd y rhai oeddynt yn
dwyn Arch yr Arglwydd chwech o gammau:
yna efe a offrymmodd ŷch, ac [anifail] brâs.
14 [j] A Dafydd a ddawnsiodd ai holl egni ger
bron yr Arglwydd: a Dafydd a ymwregysodd
hefyd ag Ephod liain.
15 [k] Felly Dafydd, a holl dŷ Israel a ddugas-
ant i fynu Arch yr Arglwydd, drwy floddest, a
sain udcorn.
16 [l] Pan oedd Arch yr Arglwydd yn dyfod i
mewn i ddinas Dafydd: yna Michol merch Saul
a edrychodd drwy yr ffenestr, ac a ganfu y bren-
in Dafydd yn ymwroli, ac yn llemmen o flaen
yr Arglwydd, a hi ai dirmygodd ef yn ei chalon.
17 [m] A phan ddugasant hwy Arch yr Ar-
glwydd, hwy ai gosodasant hi yn ei lle yng-hanol
y babell, yr hon a estynnase Dafydd iddi: yna

Dafydd a offrymmodd boeth offrymmau, ac
1 Cron offrymmau hedd ger bron yr Arglwydd.
,2 18 [n] Pan orphennodd Dafydd offrymmu po-
eth offrwm ac offrymmau hedd: yna efe a fen-
dithiodd y bobl yn enw Arglwydd y lluoedd.
19 Ac efe a rannodd i'r holl bobl [sef] i holl dy-
rfa Israel, yn ŵr, ac yn wraig i bob un, un deisen
o fara, ac un dryll o gîg, ac un gostrêled [o win:]
felly 'r aeth yr holl bobl bawb i'w dŷ ei hun.
Gen.18, 20 [o] Yna y dychwelodd Dafydd i fendîgo ei
a.24,15 dŷ: a Michol merch Saul a ddaeth i gyfarfod
l.101,2 Dafydd, a hi a ddywedodd, Oh mor ogoneddus
lat. 12, oedd brenin Israel heddyw yr hwn a ymddios-
an 1.12 1.1,1 codd heddyw yng ŵydd llawforwynion ei weis-
'edr 3, ion fel yr ymddiosce un o'r ynfydion.
Cor.10 21 [p] Yna y dywedodd Dafydd wrth Michol,
Sam. 9 Ger bron yr Arglwydd yr hwn a'm dewisodd i
a 10.1 o flaen dy dad ti, ac o flaen ei holl dŷ ef gan fy-
n.7,11 ngorchymyn i yn flaenor ar bobl yr Arglwydd
[sef] ar Israel, [y chwareais:] a mi a chwarâf ger
bron yr Arglwydd.
ct.13, 22 [q] Byddaf etto waelach na hyn, a byddaf os-
46 tyngedic yn fyng-olwg fy hun: a chyd a'r llaw-
forwynion ([am] y rhai y dywedaist wrthif)
i'm gogoneddir.
st 1, 23 [r] Am hynny i Michol merch Saul ni bu et-
n.15, ifedd byd ddydd ei marwolaeth.

## PEN. VII.

*Dafydd yn chwennychu ac heb gael adeiladu teml yr Arglwydd.*

ron. A ** PHAN eisteddodd y brenin yn ei dŷ: a
n. 8, rhoddi o'r Arglwydd lonydd iddo ef rhac
ei holl elynnion oddi amgylch:
r.1.4 26,1 2 [t] Yna y dywedodd y brenin wrth Nathan y
prophwyd Wele yn awr fi yn preswylio mewn tŷ
o cedr-wŷdd: ac Arch Dduw yn aros o fewn y
cortinau.
or.13 3 [u] Yna Nathan a ddywedodd wrth y brenin,
Dos, gwna'r hyn holl [sydd] yn dy galon, canys
yr Arglwydd [sydd] gyd a thi.
4 A bu y nosson honno i air yr Arglwydd ddy-
fod at Nathan gan ddywedyd:
ron. 5 [v] Dos, a dywet wrth fyng-wâs Dafydd, Fel
n. 3 hyn y dywed yr Arglwydd: Ai tydi a adeiledi i
mi dŷ lle y cyfanneddwyfi?
34,6 ron. 6 [w] Canys nid arhosais mewn tŷ er y dydd yr
,6 arweiniais blant Israel o'r Aipht hyd y dydd
hwn: eithr bum yn rhodio mewn pabell ac me-
wn tabernacl.
a5,2 7 [x] Ym mha [le] bynnac y rhodiais gyd a holl
feibion Israel, a yngenais i air wrth un o lywod-
raethwŷr Israel i'r rhai y gorchymynnais borthi
fy mhobl Israel, gan ddywedyd, Paham nad ad-
eiladasoch i mi dŷ o cedr-wŷdd?
8 Ac yn awr fel hyn y dywedi di wrth fyng-
Sam. wâs Dafydd, Fel hyn y dywedodd Arglwydd y
11 .78,70 lluoedd, * Myfi a'th gymmerais di o'r gorlau oddi-
ar ôl y praidd: i fod yn flaenor ar fy mhobl Israel.
9 [y] A bum gyd a thi ym mha [le] bynnac y rho- yPen.8,6
diaist, torais ymmaith hefyd dy holl elynnion di 14
o'th flaen: a gwneuthum enw mawr i ti megis enw Pen 5,10 Sal.113,7
'r rhai mwyaf [ar ydynt] yn y tîr.
10 [z] (Gosodaf hefyd i'm pobl Israel lê, a phlan- z Pen. 3,
naf ef, fel y trigo efe yn ei le ei hun, ac na sym- 34
muder ef mwyach: a meibion anwiredd ni chwa- Iob 1, 21 Deut.28,
negant ei gystuddio ef megis gynt. 8, 9
11 [a] Sef er y dydd yr hwn yr ordeiniais i farn- a Barn 2,
wŷr ar fy mhobl Israel) a rhoddaf hefyd lony- 16 Sal.127,1
ddwch i ti oddi wrth dy holl elynnion: yr argl- 1Bren.2,
wydd hefyd sydd yn mynegu i ti, y gwnaiff yr 14
Arglwydd dŷ i ti.
12 [b] Pan * gyflawnir dy ddyddiau di, a huno o bAct.13, 36
honot gyd a'th dadau, yna y gosodaf dy hâd ti *1Bren.8
ar dy ôl di, [c] yr hwn a ddaw allan o'th emyscar- 20 Rhuf. 1
oedd di: a mi a gadarnhaf ei frenhiniaeth ef. 3 cEsa. 11,
13 [d] Efe * a adailada dŷ i'm enw i: minne a 1 Heb. 1,5
gadarnhaf orseddfaingc ei frenhiniaeth ef byth. Act. 13,
14 * Myfi a fyddaf iddo ef yn dâd, ac yntef fydd 22 *1Bre5,5
i mi yn fab: pan droseddo efe, yna ceryddaf ef a 1Cron.22
gwialen ddynawl, sef a phlagau meibion dynion. 10 dMat. 16
15 [e] Ond fy nhrugaredd ni ymedu ag ef; me- 18 Luc 1,32
gis ac y tynnais ymmaith oddi wrth Saul yr hwn Heb. 3,3 Sal. 45,6
a dynnais ymmaith o'th flaen di. *Heb.1,3
16 [f] A'th dŷ di a siccrheuir a'th frenhiniaeth yn Sal. 8, 9. sl
dragywydd o'th flaen di: dy orsedd-faingc a fydd Ioan 1,18 2Cor5,21
gadarn byth. Heb.12,6
17 [g] Yn ôl yr holl eiriau hyn, ac yn ôl yr holl eAct. 13, 34
weledigaeth hon: felly y llefarodd Nathan wrth f Dan. 2, 44
Ddafydd. gMat.28, 20
18 [h] Yna y daeth y brenin Dafydd, ac a eiste- Ier.23,28 hGen.32,
ddodd ger bron yr Arglwydd, ac a ddyweodd, 10
Pwy [ydwyfi] O Arglwydd Dduw, a phwy [yw] Sal. 8, 3 Barn. 6,
fy nhŷlwyth, pan ddygit ti fi hyd ymma: 15
19 [i] Ac etto bychan oedd hyn yn dy olwg di O i Eph. 3,
Arglwydd Dduw, am hynny y lleferaist am dŷ 10 1Bren. 5,
dy wâs dros hir amser: fel dymma arfer dŷn O 13
Arglwydd Dduw. Diar. 14, 20
20 [j] Pa beth mwyach a ddywed Dafydd yn jlSam. 16
chwaneg wrthit? canys ti a adwaenost dy wâs 7
O Arglwydd Dduw. Sal.139,1
21 [k] Er mywn dy air di, ac yn ol dy feddwl dy k1Cro.17
hun y gwnaethost yr holl fawredd hyn, iw hys- 19 Mat. 11,
pyssu i'th wâs. 26
22 [l] Am hynny i'th fawrhauwyd O Arglwydd Luc 12, 32
Dduw: canys nid [oes neb] fel tydi, ac nid [oes] Hos14,4. lEx. 15,
Duw onid ti, yn ol yr hyn oll a glywsom ni a'n 11
clustiau. Esa41,26 *Deut33
23 * A [m] pha un genedl [sydd] yn y tîr megis 29. a 4,7 Amos3,2
dy bobl Israel yr hon yr aeth Duw iw gwaredu Num. 23 9
yn bobl iddo ef ei hun, ac i osod iddo enw, ac i wn- m Tit. 2, 14
euthur eroch chwi fawrhydri, a [phethau] ofna- Ex. 3, 7
dwy yn dy dir di, [O Arglwydd * gan fwrw allan]
genhedloedd, ai duwiau o flaen dy bobl y rhai a
waredaist ti o'r Aipht:

nSal.147, 19, 29 Gen.17,7 24 [n] Canys ti siccrheaist i ti dy bobl Israel yn bobl i ti byth: a thi Arglwydd ydwyt iddynt hwy yn Dduw.

oEzec.36 37 25 [o] Ac yn awr O Arglwdd Dduw cwplâ byth y gair yr hwn a leferaist am dy wâs, ac am ei dŷ ef: a gwna megis y dywedaist.

pMat 6,9 Sal.10,17 26 [p] Fel y mawrhaer dy enw yn dragywydd gan ddywedyd, Arglwydd y lluoedd [sydd] Dduw ar Israel, a bydded tŷ dy wâs Dafydd yn gadarn ger dy fron di.

27 Canys ti O Arglwydd y lluoedd Duw Israel a fynegaist i'th wâs gan ddywedyd, Adeiladaf dŷ i ti: am hynny dy wâs a gafodd ei galon [atto,] i weddio attati y weddi hon.

qIoan 17 17 28 [q] Ac yn awr O Arglwydd Dduw, ti ydwyt Dduw, a'th eiriau di fyddant wirionedd, a thi a leferaist am dy wâs y daioni hwn.

29 Yn awr gan hynny rhynged bodd it fendigo tŷ dy wâs i fod ger dy fron di yn dragywydd: canys ti O Arglwydd Dduw a leferaist, ac a'th fendith di y bendithier tŷ dy wâs yn dragywydd.

## PEN. VIII.

rPen.7,9 Act. 27, 31 *Y cenhedloedd a wnaeth Dafydd iddynt dalu teyrnged iddo ef.*

*1Cro.18 1 Num.24, 17 AC wedi * hyn y tarawodd Dafydd y Philistiaid, ac ai darostyngodd hwynt: a Dafydd a ddug ymmaith ffrwyn y gaethiwed o law y Philistiaid.

sSal 60.8 Deut.2,9 19 Num. 24, 17 1Sam,14, 47 Barn. 3, 14 2 [s] Hefyd efe a darawodd Moab, ac ai mesurodd hwynt a rheffyn, gan eu chwympo hwynt i lawr, ac efe ai mesurodd a dau reffyn iw lladd [hwynt,] ac a lloned y rheffyn iw bywhau: felly y Moabiaid fuant i Ddafydd yn weision yn dwyn trêth.

t1Cro.18 3 Pen.10.6 1Cron 18 3,4 3 [t] Tarawodd Dafydd hefyd Hadarezar fab Rehob brenin Zoba, pan oedd efe yn myned i osod ei gryfder wrth afon Euphrates.

uPen.10, 18 Ios. 11, 6 4 [u] A Dafydd a ennillodd oddi arno ef fil [o gerbydau, ] a saith gant o farchogion, ac ugain mil o wŷr traed: a thorrodd Dafydd linynnau garr [meirch] pob cerbyd, ac efe a adawodd o honynt gant cerbyd [yn gyfan.]

vIob9,13 Esa. 31,3 5 [v] Yna y daeth y Syriaid o Ddamascus i gynnorthwyo Hadarezar brenin Zoba; a Dafydd a laddodd o'r Syriaid ddwy fil ar hugain o wŷr.

wSal. 18, 44 Pen22,51 Sal. 20, 5 Diar. 21. 31 Pen. 23, 10, 12 6 [w] A Dafydd ododdd swyddogion ar y Syriaid o Ddamascus, a'r Syriaid a fuant weision i Ddafydd yn dwyn trêth; a'r Arglwydd a gadwodd Ddafydd ym mha le bynnac yr aeth efe.

7 Dafydd hefyd a gymmerth dariannau aur y rhai oeddynt gan weision Hadarezar; ac ai dûg hwynt i Ierusalem.

x1 Cron. 18, 8 8 [x] O Beta hefyd, ac o Beerothai dinasoedd Hadarezar, y dûg y brenin Dafydd lawer iawn o brês.

*1Cro.18 9 Num.13, 21 9 Pan glybu* Tohi brenin Hamath, daro o Ddafydd holl nerth Hadarezar.

*1Cro.18 10 10 Yna Tohi a anfonodd * Ioram ei fab at y brenin Dafydd i geisio ganddo ef heddwch, ac i ddiolch iddo ef, [y] (am iddo ymladd yn erbyn Hadarezar, ai fauddu ef, canys gŵr rhyfelgar oedd Hadarezar [yn erbyn] Tohi) a llestri arian, a llestri aur, a llestri prês oeddynt ganddo ef.

11 [z] Y rhai hynny hefyd a gyssegrodd y brenin Dafydd i'r Arglwydd : gyd a'r arian, a'r aur, y rhai a gyssegrase efe o'r holl genhedloedd y rhai orescynnase efe.

12 [Sef] oddiar y Syriaid, ac oddiar y Moabiaid, ac oddiar feibion Ammon, ac oddiar y Philistiaid, ac oddiar yr Amaleciaid, ac o anrhaith Hadarezer mab Rehob brenin Zoba.

13 [a] Felly Dafydd a ennillodd [iddo] enw pan ddychwelodd efe o ladd y Syriaid yn nyffryn yr halen: [sef] tair mil ar bymthec.

14 [b] Efe a osododd bennaethiaid ar Edom, ar holl Edom y gosododd efe bennaethiaid, a bu holl Edom yn weision i Ddafydd: a'r Arglwydd a gadwodd Ddafydd ym mha le bynnac y rhodiodd efe.

15 A theyrnasodd Dafydd ar holl Israel: yr oedd Dafydd hefyd yn gwneuthur barn, a chyfiawnder i'w holl bobl.

16 [c] Ac Ioab mab Serfia [oedd] benn ar y llu: ac Iehosaphat mab Ahilud yn gofiadur.

17 [d] A Zadoc mab Ahitob, ac * Ahimelec mab Abiathar [oeddynt] offeiriaid: Seraiah yn scrifennydd.

18 [e] Benaiahu hefyd mab Iehoiada [oedd] ar y Crethiaid, a'r Pelethiaid: a * meibion Dafydd oeddynt dywysogion.

## PEN. IX.

*Caredigrwydd Dafydd i Mephiboseth mab Ionathan.*

YNA [f] y dywedodd Dafydd, A oes etto un wedi ei adael o dŷ Saul, fel y gwnelwyf drugaredd ag ef er mwyn Ionathan?

2 [g] Ac yr [oedd] gwas o dŷ Saul, ai enw Ziba, a hwy ai galwasant ef at Ddafydd; a'r brenin a ddywedodd wrtho ef, Ai tydi [yw] Ziba? a dywedodd yntef, Dy was [yw] efe.

3 [h] Yna y dywedodd y brenin, A oes neb etto o dŷ Saul, fel y gwnelwyf drugaredd Duw ag ef? dywedodd Ziba wrth y brenin [Y mae] etto fâb i Ionathan * yn gloff oi draed.

4 [i] Yna y dywedodd y brenin wrtho ef, Pa le y mae efe? a Ziba a ddywedodd wrth y brenin, Wele ef yn nhŷ Machir fab Ammiel o Lo-debar.

5 Yna brenin Dafydd a anfonodd, ac ai dug ef o dŷ Machir fab Ammiel o Lo-debar.

6 [j] Pan ddaeth Mephiboseth mab Ionathan, mab Saul at Ddafydd, yna efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ymgrymmodd; a Dafydd a ddywedodd, Mephiboseth? dywedodd yntef, Wele dy was.

7 [k] Yna Dafydd a ddywedodd wrtho ef, Nac ofna, canys gan wneuthur y gwnaf drugaredd a thi, er mwyn Ionathan dy dad, a mi a rodd-

af yn ei ol i ti holl dir Saul dy dad; a thi a fwyt-
tei fara ar fy mwrdd i yn wastadol.
Sam.24 8 [l] Ac efe a ymgrymmodd, ac a ddywedodd,
en. 3, 8 Beth[ ydyw ]dy wâs di:pan edrychit ar gî marw
16. 9 o'm math i.
Pen.19 9 [m] Yna y brenin a alwodd ar Ziba gwâs Saul,
5 ac a ddywedodd wrtho ef: Yr hyn oll oedd eiddo
Saul,ac eiddo ei holl dŷ ef a roddais i fab dy fei-
str di.
10 A thi a erddi y tir iddo ef, ti a'th feibion a'th
weision,ac ai dygi i mewn,fel y byddo bara i fab
dy feistr di,ac y bwytao efe,a Mephiboseth mab dy
feistr di a fwytu yn wastadol fara ar fy mwrdd i:
(ac i Ziba ['r oedd]pymthec o feibion, ac ugain o
weision.)
Pen.19 11 [n] Yna y dywedodd Ziba wrth y brenin, Yn ol
27 yr hyn oll a orchymynnodd fy Arglwydd y bren-
in i'th was, felly y gwnaiff dy wâs: yna [y dywed-
odd Dafydd,]Mephibosethatwytu ar fy mwrdd
i, fel un o feibion y brenin.
Cron.8 12 [o] Ac i Mephiboseth [yr oedd] mab bychan
5. a 9, a'i enw [oedd] Micha: a phawb a'r [a oeddynt]
41 yn cyfanneddu tŷ Ziba [oeddynt] weision i
il.2,21 Mephiboseth.
ca 7,5
. 41, 9
13 A Mephiboseth a drigodd yn Ierusalem,
canys ar fwrdd y brenin yr oedd efe yn bwyta
yn wastadol, ac yr oedd efe yn gloff oi ddeu-
droed.

## PEN. X.

*Yr ammarch a wnaeth brenin Ammon i weision Dafydd.*
*7 Ioab yn rhyfela yn erbyn yr Ammoniaid ac yn eu gorch-
fygu hwynt.*

Sam. A C [p] yn ol hyn y darfu i * frenin meibion
1 Ammon farw: a Hanon ei fab ef a deyrnas-
ro.19 odd yn ei le ef.
eu.23 2 [q] Yna y dywedodd Dafydd, Mi a wnaf ga-
um.22, redigrwydd a Hanon mab Nahas, megis y
gwnaeth ei dad ef garedigrwydd a mi, a Da-
fydd a anfonodd gyd a'i weision i'w gyssuro ef
am ei dad: a gweision Dafydd a ddaethant i
wlad meibion Ammon.
or.13 3 [r] A thywysogion meibion Ammon a ddyw-
edasant wrth Hanon eu harglwydd, Ai anrhy-
deddu y mae Dafydd dy dad ti yn dy olwg di,
o herwydd iddo ddanfon cyssur-wyr attati?
onid er mwyn chwilio'r ddinas, a'i throedio, ai
difetha yr anfonodd Dafydd ei weision attat ti?
ef.19, 4 [s] Yna Hanon a gymmerth weision Dafydd
en.12 ac a eilliodd hanner eu barfau hwynt, ac a dor-
.5,27 rodd eu gwiscoedd hwynt yn [eu] hanner hyd
1.20, 4 eu clun iau: ac ai gollyngodd hwynt.
109,4
s.6,24 5 [t] Pan fynegwyd [hyn] i Ddafydd, yna efe a
ren.16 anfonodd i'w cyfarfod hwynt, (canys y gwŷr
oeddynt wedi eu cywilyddio yn fawr) a dy-
en 34, wedodd y brenin, Arhoswch yn Iericho hyd oni
5, 21 dyfo eich barfau chwi, yna dychwelwch.
am.13, 6 [u] Yna meibion Ammon a welsant eu bod
a27, 12

*yn ffiaidd gan Ddafydd: a meibion Ammon a * 1 Cron.
anfonasant, ac a gyflogasant o'r Syriaid, o dŷ 19, 6
Rehob, ac o Syriaid Zoba ugain mil o wŷr traed, Pen. 8, 5
a chan freniu Macah fil o wŷr, ac o Istob Esa. 8, 9,
ddeuddeng-mil o wŷr. 10
7 [v] Pan glybu Dafydd; yna efe a anfonodd v Pen.23,
Ioab, a holl lu y cedyrn. 8
Esa 13,2
8 [w] A meibion Ammon a aethant, ac a lun- 3
iaethasant ryfel [wrth] ddrws y porth; a'r Syr- w 1Cron
iaid, [o] Zobah, a Rehob, Istob hefyd, a Maa- 19, 7
cah [oeddynt] ar naill-du yn y maes.
9 Pan ganfu Ioab fod wyneb y rhyfel yn ei
erbyn ef ym mlaen, ac yn ol; yna efe a etholodd
o holl etholedigion Israel, ac a ymdaclodd yn
erbyn y Syriaid.
10 A gweddill y bobl a roddes efe tan law
Abisai ei frawd; (ac yntef a ymdaclodd yn er-
byn meibion Ammon.)
11 [x] Ac efe a ddywedodd, Os trech fydd y x Neh. 4,
Syriaid na mi, yna bydd di i mi yn gynnorthwy; 20
ond os meibion Ammon fyddant trech na thi, Rhuf.15,
yna y deuaf i'th gynnorthwyo dithe. 1
12 [y] Ymnertha, ac ymegniwn tros ein pobl, y 2 Cron.
a thros ddinasoedd ein Duw ni; a'r Arglwydd 32, 7
a wnaiff yr hyn fyddo da yn ei olwg ef. 1Cor. 16,
13 Yna y nessaodd Ioab, a'r bobl y rhai 13
[oeddynt] gyd ag ef yn erbyn y Syriaid i'r rhy- Neh.4,14
fel; a hwy a ffoasant o'i flaen ef.
14 Pan welodd meibion Ammon ffoi o'r Syr-
iaid, yna hwythau a ffoasant o flaen Abisai, ac
a ddaethant i'r ddinas; a dychwelodd Ioab oddi
wrth feibion Ammon, ac a ddaeth i Ierusalem.
15 Pan welodd y Syriaid eu lladd o flaen Is-
rael, yna'r ymgynnullasant yng-hyd,
16 Ac Hadarezer a anfonodd, ac a ddug y
Syriaid y rhai [oeddynt] o'r tu hwnt i'r afon, ac
a ddaethant i Helam; a * Sobac tywysog llu * 1 Cron.
Hadarezer oi blaen hwynt. 19, 16
17 Pan fynegwyd i Ddafydd [hynny,] yna efe
a gasclodd holl Israel, ac a aeth tros yr Iorddo-
nen, ac a ddaeth i Helam, a'r Syriaid a ymdac-
lasant yn erbyn Dafydd, ac a ymladdasant ag ef.
18 [z] A'r Syriaid a ffoasant o flaen Israel, a z Sal. 18,
Dafydd a laddodd o'r Syriaid saith gant [o] 38 a 33,16
gerbydau, a deugain mil o wŷr meirch; ac efe 1Cron.19
a darawodd Sobac tywysog eu llu, fel y bu efe 18
farw yno.
19 [a] Pan welodd yr holl frenhinoedd [y rhai a 1Sam.4,
oeddynt] yn weision i Hadarezer eu lladd 9
hwynt o flaen Israel, yna'r heddychasant ag Is- Sal. 48,4,
rael, a gwasanaethasant hwynt: â'r Syriaid a 5, 6
ofnasant gynnorthwyo meibion Ammon mwyach. Dat. 18,
10
Esa 26,11

## PEN. XI.

*Dafydd yn gwneuthur godineb â gwraig Urias. 14 Yn
peri lladd Urias. 28 ac yn priodi y wraig.*

A C [b] yng-hyfnod y flwyddyn yn yr amser b 2Cron.
y bydde y brenhinoedd yn myned allan 36, 10
1 Bren 20,
22, 26
Preg.3,8
Dent. 32
15

[i ryfel] y danfonodd Dafydd Ioab a'i weision
gyd ag ef, a holl Israel, a hwy a ddestruwiasant
feibion Ammon, ac a warchaeasant ar Rabba,
a Dafydd oedd yn aros yn Ierusalem.
cPen 4,5 2 [c] Pan ydoedd hi yn brydnawn, yna y cyf-
7 Deut.22, ododd Dafydd oddiar ei wely, ac a rodiodd ar
8 Iob 31, 1 nenn tŷ y brenin, ac oddi ar y nenn efe a ganfu
Gen. 6, 2 Sal. 119, wraig yn ymolchi: a'r wraig oedd deg iawn yr
37 olwg.
Diar. 31, 13 3 [d] Yna Dafydd a anfonodd, ac a ymofynnodd
Lef.15,19 1Pedr 3, am y wraig: ac a ddywedodd, Onid hon [yw]
2, 3 Bathseba merch Eliam, gwraig Urias yr Heth-
dIago 1, 14 iad?
Mat.5,28 1Cron. 3 4 [e] A Dafydd a anfonodd gennadau, ac ai
5 Pen23,24 cymmerth hi, a hi a ddaeth i mewn atto ef, ac
eLef. 19, efe a orweddodd gyd a hi, a hi a ymlanhaodd
17 Gen.39,7 oi haflendid, ac a ddychwelodd i'w thŷ ei hun.
Sal.50,18 Iob 31,9, 5 [f] A'r wraig a feichiogodd: ac a anfonodd, ac
10, 11 a fynegodd i Ddafydd, ac a ddywedodd, Yr
fDeut 22 22 ydwyfi yn feichiog.
g Sal. 51, 6 [g] Yna Dafydd a anfonodd at Ioab [gan]
10 Diar.9,17 ddywedyd, Danfon attafi Urias yr Hethiad: ac
Ioab a anfonodd Urias at Ddafydd.
7 Pan ddaeth Urias atto ef, yna Dafydd a
ymofynnodd am lwyddiant Ioab, ac am lwydd-
iant y bobl, ac am ffynniad y rhyfel.
hEsa. 28, 8 [h] Dywedodd Dafydd hefyd wrth Urias,
20 Ex. 1,10 Dos i wared i'th dŷ, a golch dy draed: ac Urias
a aeth allan o dŷ'r brenin, a saig y brenin aeth
ar ei ol ef.
9 Ond Urias a gyscodd wrth ddrws tŷ y bre-
nin gyd a holl weision ei arglwydd: ac nid aeth
efe i wared i'w dŷ ei hun.
10 Yna y mynegasant i Ddafydd gan ddy-
wedyd, Nid aeth Urias i wared i'w dŷ ei hun:
a Dafydd a ddywedodd wrth Urias, Onid o'th
daith yr ydwyt ti yn dyfod? pa ham nad aethost
ti i wared i'th dŷ dy hun?
i1Sam. 4, 11 [i] A dywedodd Urias wrth Ddafydd, Yr arch,
4 Mat. 10, Israel hefyd, ac Iuda ydynt yn aros mewn pe-
24, 25 byll, ac Ioab fy meistr, a gweision fy meistr
ydynt yn gyersyllu ar hŷd wyneb y maes, a âfi
gan hynny i'm tŷ fy hun, i fwytta, ac i yfed, ac i or-
wedd gyd a'm gwraig: [mynn] dy enioes di, ac
enioes dy enaid di ni wnaf y peth hyn.
12 Yna Dafydd a ddywedodd wrth Urias, Aros
ymma etto heddyw, ac y foru i'th ollyngaf di: ac
Urias a arhosodd yn Ierusalem y dwthwn hwn-
nw, a thrannoeth.
13 Yna Dafydd ai galwodd ef, i fwytta, ac i yfed
ger ei fron ef, ac ai meddwodd ef: ac yn hwyr efe a
jIer. 9, 1 Sal.19, 13 aeth i orwedd iw gusicl gyd a gweision ei argl-
Hos.9.12 wydd, ac nid aeth efe i wared iw dŷ ei hun.
1Bren,21 8 14 [j] A'r boreu yr scrifenodd Dafydd lythyr at
kPen.12, 9 Ioab, ac ai hanfonodd gyd ag Urias.
Ier. 10,23 15 [k] Ac efe a scrifennodd yn ei lythyr gan ddy-
Sal. 51, 4 wedyd: Cyfleuwch Urias ar gyfer wyneb y rhy-
fel-wyr glewaf, a dychwelwch oi ol ef, fel y tar-
awer ef, ac y byddo efe marw.
16 [l] A phan oedd Ioab yn gwarche ar y ddi- lAct.5,29
nas: yna efe a roddes Urias yn y lle yr hwn y 1Sam.22, 17
gwydded efe fod y gwŷr nerthol ynddo.
17 A gwŷr y ddinas a aethant allan, ac a ym-
laddasant ag Ioab, a syrthiodd [rhai] o'r bobl,
[sef] o weision Dafydd: ac Urias yr Hethiad a
fu farw hefyd.
18 Yna Ioab a anfonodd, ac a fynegodd i
Ddafydd holl hanes y rhyfel.
19 Ac efe a orchymynnodd i'r gennad, gan
ddywedyd, Pan orphennech lefaru holl hanes y
rhyfel wrth y brnin,
20 Yna os cyfyd llidiawgrwydd y brenin fel y
dywedo wrthit, Paham y nessauasoch at y ddi-
nas i ryfela? oni wyddech y taflant hwy oddi
ar y gaer?
21 [m] Pwy a darawodd Abimelec fab Ierubbe- mBarn.9 53
seth? onid gwraig a daflodd arno ef ddarn o Barn.7,1
faen melin oddi ar y mûr fel y bu efe farw yn
Thebes? Paham y nessauasoch at y mûr: yna y
dywedi, Dy wâs Urias yr Hethiad a fu farw hefyd.
22 Felly y gennad a aeth, ac a ddaeth ac a
fynegodd i Ddafydd yr hyn oll yr anfonase Io-
ab ef [iw fynegu.]
23 Yna yr gennad a ddywedodd wrth Ddaf-
ydd, Yn ddiau y gwŷr oeddynt drêch na ni, ac a
ddaethant attom ni i'r maes: ninneu hefyd a ae-
thom arnynt hwy hyd ddrŵs y porth.
24 A'r saethyddion a saethasant at dy weision
oddi ar y mûr, a [rhai] o weision y brenin a fuant
feirw: a'th was Urias yr Hethiad a fu farw hefyd.
25 [n] Yna Dafydd a ddywedodd wrth y gen- nPen.12, 26
nad, Fel hyn y dywedi di wrth Ioab, Na fydded
yn ddrwg yn dy olwg di y peth hyn, canys fel
hyn, ac fel hyn y difetha y cleddyf: cadarnhâ
dy ryfel yn erbyn y ddinas, fel y destruwiech
hi, a chyssura dithe ef.
26 Pan glybu gwraig Urias farw Urias ei gŵr:
yna y galarodd hi am ei phriod.
27 A [phan] aeth y galar heibio, yna Dafydd
a anfonodd, ac ai dûg hi iw dŷ ef, i fod iddo ef
yn wraig, a hi a ymddug iddo ef fâb: a drwg yng-
olwg yr Arglwydd oedd y peth a wnaeth Dafydd.

## PEN. XII.

*Nathan yn ceryddu Dafydd o achos gwraig Urias. 18 Y Plen-*
*tyn yr hwn a ennillodd Dafydd o Bathseba yn marw. 24*
*Ganedigaeth Salomon. 29 Gorescynniad Rabbath.*

YNA [o] yr Arglwydd a anfonodd Nathan at
Ddafydd: ac efe a ddaeth atto ef, ac a ddy- o Sal. 51 titl
wedodd wrtho ef, Dau ŵr oeddynt yn yr un Galar. 3 21
ddinas, y naill yn gyfoethog, a'r llall yn dlawd. Act. 2,3
2 [p] Gan y cyfoethog yr oedd llawer iawn o Barn. 9, 9
ddefaid, a gwartheg. Esa. 5, pPen.5,
3 [q] A chan y tlawd nid [oedd] dim onid un oe- a 5, 13 Adn. 8
nic fechan yr hon a brynnase efe, ac a fagase, a qMic.7,

hi a gynnyddasse gyd ag ef, a chyd ai feibion ef
hefyd: oi dammed ef yr ŷfe hi, ac yn di fonwes
ef y gorwedde hi, ac yr oedd hi iddo megis merch.
rIob 1,7 4 r Ac ymdeithudd a ddaeth at y gŵr cyfoeth-
og, ond efe a arbedodd gymmeryd oi ddefaid ei
hun, ac oi ychen ei hun i arlwyo i'r ymdeithudd
yr hwn a ddaeth atto ef: ond efe a gymmerth
oenic y gŵr tlawd, ac ai paratôdd i'r gŵr yr hwn
a ddaethe atto ef.
sGen. 20, 5 s Yna digofaint Dafydd a ddigiodd yn ddir-
3,a 38,24 fawr wrth y gwr: ac efe a ddywedodd wrth Na-
than, [Fel] y mae byw yr Arglwydd euog o far-
*Ex.22,1 wolaeth [yw] y gwr yr hwn a wnaeth hyn.
Diar.6,31 Deut.4,2 6 A'r oenic a dal efe adref * yn bedwar dyb-
18 lyg: o herwydd nad arbedodd efe.
tMat. 14, 7 t Yna y dywedodd Nathan wrth Ddafydd,
4 *1Sam.16 Ti [yw] yr gwr: fel hyn y dywedodd Arglwydd
13 Dduw Israel, * Myfi a'th eneiniais di yn frenin
ar Israel, myfi hefyd a'th waredais di o law Saul.
uGen.39, 8 u Rhoddais hefyd i ti dŷ dy arglwydd, a
8 Gen.16 5 gwragedd dy arglwydd yn dy fonwes, ac mi a ro-
Esa. 5, 4 ddais i ti dŷ Israel,ac Iuda: ac os [rhy] fychan
[fuase hynny,] myfi a roddaswn fwy o lawer
vPen. 11 9 v Pa ham y dremygaist air yr Arglwydd gan
14 Sal. 51, 14 wneuthur yr hyn oedd ddrwg yn ei olwg ef?
Urias yr Hethiad a darewaist di a chleddyf, a'i
wraig ef a gymmeraist i ti yn wraig: a thi ai
lleddaist ef a chleddyf meibion Ammon.
wDat. 13 10 w Yn awr gan hynny ni ymâdu cleddyf a'th
10 dŷ di byth: o herwydd i ti fy nirmygu i, a chym-
meryd gwraig Urias yr Hethiad i fod yn wraig i ti.
xAmos 7 11 x Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd,* Wele
17 *Deut.28 myfi a gyfodaf i'th erbyn ddrwg o'th dŷ dy hun,
30 2Sam.16, ac mi a ddygaf dy wragedd di yng-ŵydd dy ly-
22 gaid, ac ai rhoddaf [hwynt] i'th gymydog: ac efe
a orwedd gyd a'th wragedd di yng-olwg yr
haul hwn.
12 Er i ti wneuthur mewn dirgelwch: etto
ySal. 51,4 myfi a wnaf y peth hyn ger bron holl Israel, a
1Sam. 15 cher bron yr haul.
24 1Cor. 11, 13 y Yna y dywedodd Dafydd wrth Nathan,*
32 Pen. 24, Pechais yn erbyn yr Arglwydd: a Nathan a ddy-
10 Iob 7, 21 wedodd wrth Ddafydd, Yr Arglwydd hefyd a
Mic. 7,18 dynodd ymmaith dy bechod ti, ni byddi di marw.
1Cron. 21 14 z Etto o herwydd i ti beri i elynnion yr Ar-
8 Sal. 32, 1 glwydd ei gablu ef drwy yr peth hyn: am hynny
Zec. 3, 4 y mab yr hwn a enir i ti a fydd marw yn ddiau.
Amos 8,7 Diar. 28, 13 a 18. 13 15 Yna Nathan a aeth iw dŷ: a'r Arglwydd
Mica 7 18 a darawodd y plentyn yr hwn a blantase gwraig
Diar 23, 13 Urias i Ddafydd fel y clafychodd efe.
Adn 10 zRhuf 2, 16 a Dafydd am hynny a ymbiliodd a Duw
24 Neh 5, 4 dros y bachgen: a Dafydd a ymprydiodd ym-
Mat 18,7 aZec 33, pryd, ac a ddaeth, ac a arhosodd tros nos ac a
10, 11 Luc 18,8 orweddodd ar y ddaiar.
Esa 26,26 a 3,7 17 Yna henuriaid y tŷ a gyfodasant atto ef, i
2Cron.23 4 beri iddo godi oddi ar y ddaiar; ond ni fynne efe,
Luc 50, 4 ac ni fwyttae efe fara gyd a hwynt.

18 Ac ar y seithfed dydd y bu farw y plentyn;
a gweision Dafydd a ofnasant fynegu iddo ef
farw y bachgen; canys dywedasant, Wele, tra
oedd y bachgen yn fyw y llefarasom wrtho ef,
ond ni wrandawodd ar ein llais ni, pa fodd gan
hynny y dywedwn ni wrtho farw y plentyn,
rhac gwneuthur [o hynny] niwed [iddo ef?]
19 Pan welodd Dafydd ei wesion yn sibrwd,
yna y deallodd Dafydd farw y plentyn; a Daf-
ydd a ddywedodd wrth ei weision, A fu farw y
plentyn? a hwy a ddywedasant, Efe a fu farw. bRuth 3,
20 b Yna Dafydd a gyfododd oddi ar y ddaiar, 3 Pen 6, 17
ac a ymolchodd,ac a ymeneiniodd, ac a newidi- Iob 1, 21
odd ei ddillad,ac a ddaeth i dŷ'r Arglwydd,ac a a 2, 10
addolodd:wedi hynny y daeth efe iw dŷ ei hun,
ac a ofynnodd,a hwynt a roddasant iddo fara ac
efe a fwytâodd.
21 Yna ei weision a ddywedasant wrtho ef, Pa
beth[yw]hyn a wnaethost di? dros y plentyn byw
yr ymprydiaist, ac yr ŵylaist, ond pan fu y plen-
tyn farw, ti a gyfodaist, ac a fwyteaist fara.
22 Ac efe a ddywedodd, Tra yr ydoedd y
plentyn yn fyw'r ymprydiais, ac yr wylais: ca-
nys mi a ddywedais, Pwy a wyr a drugarhâ fy
Arglwydd fel y byddo byw y plentyn?
23 Ac yn awr efe fu farw, i ba beth yr ympryd-
iwn? a allafi ei ddwyn ef yn ei ol mwyach? myfi
a af atto ef, ond ni ddychwel efe attafi. c1Bren.1
24 c Yna Dafydd a gyssurodd Bathseba ei 13
wraig, ac a aeth atti hi, ac a orweddodd gyd a Mat. 1, 6 * 1 Cron.
hi; a hi a ymddug fab, ac * efe a alwodd ei enw 22, 9 § Sef,
ef Salomon, §d a'r Arglwydd ai carodd ef Heddychol,
25 Canys efe a anfonase drwy law Nathan y Esa. 9, 6
prophwyd, ac efe a alwodd ei enw ef Iedidiah|| dIoan 13, 1
o blegit yr Arglwydd [a'i care ef.] || Anwyl gan yr
26 e Yna Ioab a ymladdodd yn erbyn Rab- Arglwydd.
bah meibion Ammon; ac efe a ennullodd y ePen. 11,
frenhinawl ddinas. 25
27 f Ac Ioab a anfonodd gennadau at Dda- fSal. 127,
fydd, ac a ddywedodd,Rhyfelais yn erbyn Rab- 2 Diar. 13,
bah ennillais hefyd ddinas y dyfroedd. 22
28 Yn awr gan hynny casgl weddill y bobl,
a gwersylla yn erbyn y ddinas, ac ennill hi; rhac
i mi ennill y ddinas, a galw fy henw i arni hi.
29 Felly Dafydd a gasclodd y bobl ac a aeth
yn erbyn Rabba; ac a ymladdodd yn ei herbyn
hi ac ai hennillodd hi.
30 Ac * efe a ddug goron eu brenin hwynt * 1Cron.
oddi am ei ben (ai phwys hi[oedd] dalent o aur, 202
ac [yr oedd] maen gwerthfawr ynddi) a hi a os-
odwyd ar ben Dafydd; ac efe a ddug ymaith
lawer iawn o anrhaith y ddinas.
31 g Ac efe a ddug ymaith y bobl y rhai [oedd]
ynddi, ac ai gosododd tan lifau, a than ogau gPen.17, 27
heirn, a than fwyill heirn, ac ai bwriodd hwynt Luc 19,29 2Bren. 16
i'r odynau calch, ac felly y gwnaeth i holl ddi- 3 a 23,10,
nasoedd meibion Ammon; yna Dafydd a 11

ddychwelodd a'r holl bobl i Jerusalem.

## PEN. XIII.

*Amnon yn treisio Thamar. 28 Absalom yn peri lladd Amnon.*

hPen 3,3 A C [h] yn ol hyn yr ydoedd gan Absalom fab
a 12,10,11 Dafydd chwaer deg, ai henw Thamar; ac
Gen.34,2 3 Amnon mab Dafydd ai carodd hi.
1 Bren. 2 [i] Ac yr oedd mor flin ar Amnon, fel y claf-
21, 4 ychodd efe o herwydd Thamar ei chwaer, canys
gweryf [oedd] hi; ac anhawdd y gwele Amnon
wneuthur dim iddi hi.
jMica7,5 3 [j] A chyfell [oedd] gan Amnon, ai enw Iona-
Diar 27,6 a 28,23 dab mab Simah frawd Dafydd; ac Ionadab
Ier. 4, 22 Sal. 58, 5 [oedd] ŵr call iawn.
4 Ac efe a ddywedodd wrtho ef, Ti fab y bre-
nin pa ham yr ydwyt yn curio fel hyn beunydd?
oni fynegi di i mi? yna Amnon a ddywedodd
wrtho ef, Caru'r ydwyfi Thamar chwaer Absa-
lom fy mrawd.
k Lef. 19, 17 5 [k] Yna Ionadab a ddywedodd wrtho ef, Gor-
Sal. 50,18 Diar. 19, wedd ar dy wely, a chymmer arnat glafychu;
27 pan ddelo dy dad i'th edrych, yna dywet wrtho
ef, Deued attolwg Thamar fy chwaer, fel y paro
i mi fwytta bara, ac yr arlwyo fwyd yn fyng-
olwg, fel y gwelwyf, ac y bwytawyf o'i llaw hi.
lGen.18,6 6 [l] Felly Amnon a orweddodd, ac a gym-
Diar. 31, 13 merth arno glafychu; a'r brenin a ddaeth i'w ed-
rych ef, ac Amnon a ddywedodd wrth y brenin,
Deued attolwg Thamar fy chwaer i grassu dwy
deisen yn fyng-olwg i, fel y bwytawyf oi llaw hi.
7 Yna Dafydd a anfonodd adref at Thamar
gan ddywedyd, Dos yn awr i dŷ Amnon dy
frawd, a pharatoa fwyd iddo ef.
8 [m] Felly Thamar a aeth i dŷ Amnon ei brawd,
mAdn 5 Est. 5, 14 (ac efe oedd yn gorwedd) a hi a gymmerth beill-
ied, ac ai telinodd, ac a wnaeth deisennau yn
ei ŵydd ef, ac a grasodd y teisennau.
nIob 31,1 9 [n] Yna hi a gymmerth y radell, ac ai tywallt-
Sal. 14, 1 odd [hwynt] ger ei fron ef, ond efe a wrthododd
fwytta: ac Amnon a ddywedodd, Dugwch allan
bawb oddi wrthifi, a phawb a aethant allan oddi
wrtho ef.
10 Yna Amnon a ddywedodd wrth Thamar,
Dwg y bwyd i'r stafell, fel y bwytawyf o'th law
di; a Thamar a gymmerth y teisennau y rhai a
wnaethe hi, ac ai dug at Amnon ei brawd i'r sta-
oGen.39, fell.
12 Diar.7,13 11 [o] Pan ddug hi [hwynt] atto ef i fwytta; yna
Rhuf1,27 efe a ymaflodd ynddi hi, ac a ddywedodd wrthi
*Lef.18,9 Deut.22, hi, Tyret, gorwedd gyda mi fy chwaer.
29 pGen.34, 12 A hi a ddywedodd wrtho ef, Paid fy mrawd
7 Sal. 93, 5 na threisia fi, canys * ni wneir fel hyn yn Israel:
Diar.7,7 [p] na wna di yr ynfydrwydd hyn.
qDiar. 19 29a 23,9 13 [q] Canys pa fodd y bwriaf ymaith fyng-
Lef.18,9, 11 warth? a thi a fyddi fel un o'r ynfydion yn Israel;
rDiar.18, 2 yn awr gan hynny ymddiddan attolwg a'r brenin,
Preg. 2, canys ni ommedd efe fi i ti.
14 Pen 12,10 14 [r] Ond ni fynne efe wrando ar ei llais hi;
eithr efe a fu drech na hi, ac ai treisiodd, ac a
orweddodd gyda hi.
15 [s] Yna Amnon ai casâodd hi â châs mawr sRhuf.1,
iawn, canys mwy [oedd] y câs a'r hwn y cas- 21 a 6,21
auase efe hi, na'r cariad a'r hwn y carâse efe hi; Ier. 6,15 Luc 15,17
ac Amnon a ddywedodd wrthi hi, Cyfot dos Heb. 11, 25 a 3,12
ymmaith. Gen 34,1 3
16 A hi a ddywedodd wrtho ef, Nid [oes ach-
os i hyn:] y drygioni hwn [sef] fyng-yrru ym-
maith sydd fwy na'r llall yr hwn a wnaethost a
mi, ond ni fynne efe wrando arni hi.
17 Eithr efe a alwodd ar ei langc [sef] ei wei-
nidog, ac a ddywedodd, Hebrwng allan attolwg
hon oddiwrthifi; a chlôa y drws ar ei hol hi.
18 [t] (Ac am deni hi [yr oedd] mantell symmud-
liw; canys felly y dilladid merched y brenin, y tGen.37, 3
rhai [oeddynt] forwynion â mantellau;) yna ei Barn. 5,
weinidog ef ai dûg hi allan, ac a glodd y drws 30
ar ei hol hi.
19 [u] A Thamar a gymmerodd ludw ar ei phen, uIer.2,37
ac a rwygodd y fantell symmud-liw yr hon
[oedd] am deni hi; ac a osododd ei llaw ar ei
phen, ac a aeth ymmaith dann gerdded a gweiddi.
20 [v] Ac Absalom ei brawd hi a ddywedodd wr- vSal.39,
thi hi, Ai Amnon dy frawd a fu gyd a thi? er hyn- Rhuf.12,
ny yn awr taw a sôn fy chwaer, dy frawd ti [yw] 19
efe, na osod dy galon ar y peth hyn; felly Tha-
mar a drigodd yn anrhaithiedic yn nhŷ Absa-
lom ei brawd.
21 [w] Pan glybu y brenin Dafydd yr holl bethau wPen 11,
hynny; yna efe a ddigiodd yn aruthr. 10
22 [x] Ac ni ddywedodd Absalom wrth Amnon
na drwg, na dâ; er hynny Absalom a gasaodd xLef.19, 17
Amnon o herwydd iddo ef dreisio Thamar ei Mat.18,
chwaer ef.
23 [y] Ac ar ol dwy flynedd o ddyddiau, yr oedd ySal.18,
gan Absalom rai yn cneifio yng-wastadedd Ha- 4 Ios.15,
zor, yr hwn [sydd] wrth Ephraim; ac Absalom
a wahoddodd holl feibion y brenin.
24 [z] Canys Absalom a ddaeth at y brenin, ac z1Sam
a ddywedodd, Wele yn awr rai yn cneifio i'th 25,4 Gen. 38,
wâs di; deued attolwg y brenin ai weision gyd 12 2Bren
a'th wâs di. Sal 18,
25 Yna y dywedodd y brenin wrth Absalom, a 35,
Nage fy mâb, ni ddeuwn ni i gyd yn awr, ac ni
ormeswn arnat ti; etto [Absalom] a fu daer arno ef,
ond ni fynne efe fyned, eithr efe ai bendithiodd ef.
26 [a] Yna dywedodd Absalom, Oni ddaw Am- aSal55,
non fy mrawd yn awr gyd a ni? a'r brenin a ddy- Ier 41,
wedodd wrtho ef, I ba beth yr aiff efe gyd a thi? 6, 7
27 Etto Absalom fu daer arno ef, fel y gollyng-
odd efe Amnon gyd ag ef, a holl feibion y brenin.
28 [b] Ac Absalom a orchymynnodd i'w langciau b Act
gan ddywedyd, Edrychwch attolwg pan fyddo 29 Ex 1,17
llawen calon Amnon gan win, a [phan] ddywed- 1Sam 2, 17
wyf wrthych, Tarewch Amnon, yna lleddwch ef, 1 Sam
nac ofnwch; canys oni orchymynnais i chwi? 34

ymnerthwch, byddwch feibion glewion.
29 A llangciau Absalom, a wneathant i Am-
non fel y gorchymynnase Absalom; a holl feibion
y brenin a gyfodasant, a phôb un a farchogodd
ar ei fûl, ac hwy a ffoasant.
30 A [thra yr oeddynt hwy] ar y ffordd y da-
eth y chwedl at Ddafydd gan ddywedyd; Absal-
om a laddodd holl feibion y brenin, ac ni ada-
wyd un o honynt.
cPen 12, 10 a 13,16 31 c Yna y brenin a gyfododd, ac a rwygodd
Ios. 7, 6 ei ddillad, ac a orweddodd ar y ddaiar: ei holl
weision ef hefyd oeddynt yn sefyll ai gwiscoedd
yn rhwygedic.
dAdn 2,3 32 d Yna Ionadab mab Simah frawd Dafydd
a attebodd, ac a ddywedod, Na ddyweded fy
arglwydd iddynt hwy ladd yr holl langciau
[sef] meibion y brenin, canys Amnon yn unic a
fu farw: canys yr oedd yn mryd Absalom [hyn-
ny] er y dydd y treisiodd efe Thamar ei chwaer ef.
eSal.7,14 33 e Ac yn awr na osoded fy arglwydd frenin
Gen. 27, 41 y peth at ei galon gan dybied farw holl feibion
y brenin: canys Amnon yn unic a fu farw.
fAdn. 58 34 f Yna Absalom a ffôdd: a'r llangc yr hwn
Amos 2, 14 oedd yn gwilio a dderchafodd ei lygaid, ac a
edrychodd, ac wele bobl lawer yn myned o'r
ffordd ar ei ôl ef, ar hŷd ystlys y mynydd.
35 Ac Ionadab a ddywedodd wrth y brenin,
Wele feibion y brenin yn dyfod: fel y dywedodd
dy wâs felly y mae.
36 A phan orphennase efe ymddiddan, yna
wele meibion y brenin a ddethant, ac a derchaf-
asant eu llef ac a ŵylasant: a'r brenin hefyd, ai
holl weision a ŵylasant ag ŵylofain mawr iawn.
*Pen 3,3 a 15,8 37 Ac Absalom a ffoawdd, ac a aeth at * Thal-
Sal. 84,2 mai fab Ammihur brenin Gesur: a [Dafydd] a
alarodd am ei fab yr holl ddyddiau hynny.
38 Felly Absalom a ffoawdd, ac a aeth i Ges-
ur; ac yno bu efe dair blynedd.
gGen 37, 34 a 38,12 39 g Ac [enaid] Dafydd y brenin a hiraethodd
Pen. 12, 23 am fyned at Absalom: canys efe a gyssurasid
am Amnon, o herwydd ei farw efe.

## PEN. XIV.

***Dafydd wedi cymmodi ag Absalom, heb adel iddo ddyfod yn ei wydd tros ddwy flynedd. 29 Y modd y cafodd efe ddyfod yng-wydd ei dad o'r diwedd.***

h1 Sam. 22,18 YNA h Ioab mab Serfia a wybu fod calon y
Diar. 29, 26 brenin tu ag at Absalom.
Pen. 18, 33 2 i Ac Ioab a anfonodd i Thecoah, ac a ddûg
i2 Cron. 11,6 oddi yno wraig ddoeth: ac a ddywedodd wrthi
Pen. 13,3 Gen. 3,1 hi: Cymmer arnat attolwg alaru, a gwisc yn awr
Ruth 3,3 alar-wisc, ac nac ymîra ag olew, eithr bydd fel
gwraig yn galaru eusus er ys llawer o ddyddiau
am y marw.
jEx.4,15 3 j A thyret at y brenin, a llefara wrtho yn ôl
yr ymadrodd hyn: ac Ioab o osododd yr ymad-
k1 Sam. 20, 4 roddion yn ei genau hi.
Gen. 18,2 4 k Yna y wraig o Thecoah a ddywedodd wrth
y brenin, canys hi a syrthiodd i lawr ar ei hwy-
neb, ac a ymgrymodd, ac a ddywedodd, Cyn-
northwya O frenin.
5 l Yna y dywedodd y brenin wrthi hi, Beth lIob 29,12 13,14
[a ddarfu] i ti? a hi a ddywedodd, Yn wîr gwr-
aig weddw ydwyfi, canys fyng-wr a fu farw.
6 m Ac i'th lawforwyn [yr oedd] dau fab, a hw- m Deut. 19,5 a 17,6
ynt ill dau a ymrysonnasant yn y maes, ond
nid [oedd] ymthrywŷn-wr rhyngddynt hwy: a'r
naill a darawodd y llall, ac ai lladdodd ef.
7 n Ac wele yr holl dylwyth a gyfododd yn er- n Num.
byn dy lawforwyn, a hwy a ddywedasant, Dyro 35, 19 Deut. 19
yr hwn a darawodd ei frawd fel y lladdom ni ef, 12 a 25,6, 10
am einioes ei frawd yr hwn a laddodd efe, ac y Ruth 4,4,
difethodd hefyd yr etifedd: felly y diffoddent fy 5, 10
marworyn yr hwn a adawyd, heb adel im gŵr
enw, nac eppil ar wyneb y ddaiar.
8 o A'r brenin a ddywedodd wrth y wraig, Dôs o Adn. 9
i'th dŷ dy hun: a mi a roddaf orchymyn o'th blegit. Diar. 18, 13
9 p Yna y dywedodd y wraig o Thecoah wrth Act. 25,
y brenin, [Bydded] y camwedd hwn arnafi fy 29 Pen. 16,4
arglwydd frenin, ac ar dŷ fy nhâd i: a'r brenin pMat. 27, 25
ai orsedd-faingc ef yn ddiniwed. Gen. 27, 13
10 A'r brenin a ddywedodd, Dŵg attafi yr 1Bren. 2,
hwn a ymgêna wrthit, fel na chanego efe mwy- 44, 45
ach gyffwrdd a thi.
11 q Yna hi a ddywedodd, Cofied attolwg y q Num. 35, 11, 12
brenin dy Arglwydd Dduw, rhac amlhau dial- Num. 35,
wŷr y gwaed i ddestruwio, a rhac difetha o 37 1Sam. 14,
honynt hwy fy mab i: ac efe a ddywedodd, 45 Act. 27,
[Fel] mai byw yr Arglwydd ni syrth [un] o 34
wallt dy fab di i lawr.
12 Yna y dywedodd y wraig, Attolwg, caffed
dy law-forwyn ddywedyd gair wrth fy arglwydd
frenin: yntef a dywedodd, Dywet.
13 r A'r wraig a ddywedodd, Pa ham gan hyn- r Lef. 19,
ny y meddyliaist fel hyn yn erbyn pobl Dduw? 36 Pen. 8,18
neu [pa ham] y mae yr brenin yn llefaru y gair Adn. 6
hwn megis [un] beius? gan na ddûg y brenin Pen 15,28
adref ei herwr.
14 s Canys gan farw yr ydym ni yn marw, ïe, s Pen 18,7
fel dyfroedd wedi eu tywallt a'r y ddaiar, y rhai 8
ni chesclir: ac ni eiriach Duw einioes, etto efe Iob 34,19
a feddwl foddion, fel na yrro efe ymmaith yr Num. 35, 15
herwr oddi wrtho ef.
15 Ac yn awr mi a ddaethum i ymddiddan a'm
harglwydd frenin am y peth hyn, o blegit i'r bobl
fy nychrynnu i: am hynny y dywedodd dy law-
forwyn, Ymddiddanaf yn awr a'r brenin, ond
odid efe a wnaiff y brenin ddymuniad ei law-
forwyn.
16 A'r brenin a wrendu, fel y gwaredo efe ei
law-forwyn o law y gŵr [yr hwn a geisio] fy ni-
fetha i, a'm mab hefyd o etifeddiaeth Dduw.
17 t A'th law-forwyn a ddywedodd, Bydded t Act. 12,
attolwg gair fy arglwydd frenin yn gyssur: 22 23
(canys fel angel Duw yw fy arglwydd frenin i Pen 19,27

wrando y da, a'r drwg) a'r Arglwydd dy Dduw
fyddo gyd a thi.
18 Yna'r attebodd y brenin, ac y dywedodd
wrth y wraig, Na chêla attolwg oddiwrthifi y peth
yr hwn yr ydwyf yn ei ofyn i ti: a dywedodd y
wraig, Llefared yn awr fy arglwydd frenin.
19 A'r brenin a ddywedodd, A [ydyw] llaw
Ioab gyd a thi yn hyn oll? yna 'r attebodd y
wraig, ac a ddywedodd, [Fel] mai byw dy enaid
ti fy arglwydd frenin nid gwiw [troi] ar y llaw
ddehau, nac ar y llaw asswy oddi wrth yr hyn
oll a ddywedodd fy arglwydd frenin, canys dy
wâs Ioab a orchymynnodd i mi, ac a osododd
yr holl eiriau hyn yng enau dy law-forwyn.
20 Ar fedr troi wyneb y chwedl y gwnaeth
dy was Ioab y peth hyn: ond fy arglwydd
[sydd] ddoeth fel doethineb angel Duw i wy-
bod yr hyn oll [sydd] ar y ddaiar.
21 A'r brenin a ddywedodd wrth Ioab, Wele
yn awr gwneuthum y peth hyn: dos, a dwg y
llangc Absalom yn ei ol.
22 Yna Ioab a syrthiodd i lawr ar ei wyneb,
ac a ymgrymmodd, ac a fendithiodd y brenin:
ac Ioab a ddywedodd, Heddyw y gwybu dy
wâs di gael o honof ffafor yn dy olwg di (fy
arglwydd frenin) am i'r brenin gyflawni dymun-
iad ei wâs.
u Pen 13, 37 23 [u] Ac Ioab a gyfododd, ac a aeth i Gesur: ac
a ddug Absalom i Ierusalem.
v Gen. 43, 3 24 [v] A'r brenin a ddywedodd, Troed i'w dŷ
ei hun ac nac edryched [yn] fy wyneb i: felly
Absalom a drodd i'w dŷ ei hun, ac ni welodd
wyneb y brenin.
w 1 Sam. 16, 6 25 [w] Ac nid oedd ŵr mor deg [ac] mor glod-
Diar. 31, 13 fawr ag Absalom o fewn holl Israel: o wadn ei
2 Bre. 5, 2 droed hyd ei goryn nid oedd wrthyni ynddo ef.
Sal 45, 13 26 [x] A phan gneifie efe ei benn, (canys un
Esa. 1, 6 waith yn y flwyddyn y cneifie efe ei wallt, o her-
x Gen. 20, 16 wydd ei fod yn drwm arno, am hynny efe ai
Lef. 19, 36 cneifie ef) yna efe a bwyse wallt ei ben yn ddau
Deut. 25, 13 cant sicl § wrth bwys y brenin.
§ Sef, pedwar pwys a dwy wns 27 [y] A thri mab a anwyd i Absalom, ac un
y Pen. 18, 18 ferch, ai henw hi [oedd] Thamar: yr oedd hi
Iob 18, 19 yn wraig deg yr olwg.
Ier. 22, 30 28 [z] Felly Absalom a drigodd ddwy flynedd
Esa. 14, 22 z Adn 24 gyfan yn Ierusalem: ac ni welodd wyneb y
brenin.
29 Yna Absalom a ddanfonodd at Ioab, i'w
anfon ef at y brenin, ond ni fynne efe ddyfod at-
to ef: ac efe a anfonodd etto'r ailwaith, ond ni
fynne efe ddyfod.
a Pen 13, 29 30 [a] Am hynny efe a ddywedodd wrth ei weis-
ion, Gwelwch randir Ioab ger fy llaw i, a haidd
[sydd] ganddo ef yno, ewch a lloscwch hi a thân:
a gweision Absalom a loscasant y rhan-dir a
thân.
31 Yno Ioab a gyfododd, ac a ddaeth at Ab-
salom i'w dŷ, ac a ddywedodd wrtho ef, Pa ham
y lloscodd dy weision di y rhan-dir yr hon
[oedd] gennifi a thân?
32 [b] Ac Absalom a ddywedodd wrth Ioab, b 1 Sam. 15, 13, 20
Wele mi a anfonais attat ti gan ddywedyd, Ier. 5, 16
Tyret yma fel i'th anfonwyf di at y brenin i Diar. 28, 13
ddywedyd, I ba beth y daethum i o Gesur? Sal. 32, 3, 5
gwell fuasai i mi fy [mod] i yno etto: ac yn awr Iob 31, 33
gadawer i mi weled wyneb y brenin, ac od oes Gen. 3, 12
gamwedd ynof, yna lladded fi. Mat. 25, 44
33 [c] Yna Ioab a ddaeth at y brenin, ac a fyneg- c Gen. 27, 26, a 29, 11
odd iddo ef, ac efe a alwodd am Absalom, yntef a 31, 55
a ddaeth at y brenin, ac a ymgrymmodd iddo Luc 15, 26
i lawr ar ei wyneb ger bron y brenin: a'r brenin
a gussanodd Absalom.

## PEN. XV.

*Traeturiaeth Absalom. Husai yn ffyddlon i Ddafydd.*

AC [d] wedi hyn y paratodd Absalom iddo ei d Diar. 11, 2 a 16, 18
hun gerbydau, a meirch: a deng-wr a deu- Pen 12, 11
gain i redeg o'i flaen ef.
2 [e] Ac Absalom a gyfode yn fore, ac a safe ger e Diar. 4, 16
llaw ffordd y porth: ac yna Absalom a alwe Mat. 27, 1
atto bob gwr yr hwn yr oedd iddo fatter i ddy-
fod at y brenin am farn, ac a ddywede, O ba
ddinas [yr ydwyt] ti? yntef a ddywede, O un o
lwythau Israel [y mae] dy was di.
3 [f] Ac Absalom a ddywede wrtho ef, Wele f Sal. 12, 2
[y mae] dy ymadroddion yn dda, ac yn inion: Diar. 12, 3
ond nid [oes] gan y brenin a wrandawo arnat ti. Dat. 13, 11
4 [g] Dywede Absalom hefyd, Oh na'm gosodid 2 Barn. 9, 2, 29
i yn farn-wr yn y wlad, fel y dele attafi bob gŵr Diar. 26, 25
yr hwn fydde ganddo ymrafel neu gynghaws, Ex. 4, 10, 13
fel y gwnawn i gyfiawnder iddo. Diar 27, 3
5 A phan nessae neb i ymgrymmu iddo ef:
yna efe a estynne ei law, ac a ymafle ynddo ef,
ac ai cussane ef.
6 [h] Ac fel hyn y gwnae Absalom i holl Israel h Diar 11, 9
y rhai a ddeuent am farn at y brenin: felly Ab- Gen. 31, 20
salom a ennillodd galon holl wŷr Israel.
7 [i] Ac ym mhen deugain mlynedd y dywed- i 1 Sam. 16
odd Absalom wrth y brenin, Mi a âf yn awr, ac 13
a dalaf fy adduned yr hon a addunedais i'r Ar- Mat. 2, 8
glwydd yn Hebron.
8 [j] Canys dy wâs a addunodd adduned pan j Pen 13, 37, 38
oeddwn i yn aros o fewn Gesur yn Syria gan Esa. 28, 15
ddywedyd, Os gan ddychwelyd y dychwel yr Ier 9, 3, 5
Arglwydd fi i Ierusalem, yna y gwasanaethaf yr Gen. 28, 20, 22
Arglwydd.
9 Ar brenin a ddywedodd wrtho ef, Dos mewn
heddwch: felly efe a gyfododd, ac a aeth i Hebron. k Pen 13, 28 a 14, 30
10 [k] Yna Absalom a anfonodd chwil-wyr Pen 19, 10
drwy holl lwythau Israel gan ddywedyd, Pan
glywoch lef yr udcorn yna dywedwch, Absalom
sydd yn teyrnasu yn Hebron.
11 [l] A dau cant o wŷr a aethant gyd ag Absal- l 1 Sam 9, 13 a 16, 3
om o Ierusalem ar wahodd, ac yr oeddynt yn my- Mat 10, 16
ned yn eu perffeithrwydd, ac heb wybod dim oll. Dia. 14, 15

mSal. 55, 12, 14 12 [m] Ac Absalom a anfonodd am Abitophel y
Mica 7,5 Geloniad cynghor-wr Dafydd oi ddinas Gilo,
Ios. 15, 51 Pen12,20 tra fydde efe yn offrymmu aberthau: a'r cyd-
Sal. 3, 1 frad-wriaeth [oedd] gref, a'r bobl oedd yn my-
ned, ac yn amlhau gyd ag Absalom.
nAdn 6 13 [n] Yna y daeth cennad at Ddafydd gan ddy-
Sal. 62, 9 Barn. 9,3 wedyd, Y mae calon gwŷr Israel ar ol Absalom.
oDat. 13, 6, 14 14 [o] Yna y dywedodd Dafydd wrth ei holl
weision y rhai [oeddynt] gyd ag ef yn Ierusalem,
Cyfodwch, a ffoiwn, canys ni ddiang-wn ni gan
Absalom: bryssiwch i fyned, rhac iddo ef fryssio
a'n dala ni, a bwrw drygioni i'n herbyn ni, a
tharo y ddinas a min y cleddyf.
pIoan 6, 66, 69 15 [p] A gweision y brenin a ddywedasant wrth
Ex. 23, 2 Pen 19,38 y brenin: Wele dy weision [yn barod] ar ol yr
hyn oll a ddewiso fy arglwydd frenin.
qPen 12, 11 a 16 22 16 [q] Felly y brenin a aeth, ai holl dŷlwyth ar
ei ol: a'r brenin a adawodd ddeg o orddderch-
wragedd i gadw'r tŷ.
17 Ar brenin a aeth a'r holl bobl ar ei ol: ac
a safasant mewn lle pell.
Pen 8,18 18 [r] Ai holl weision ef oeddynt yn cerdded
ger ei law ef, yr holl Gerethiaid, a'r holl Pele-
thiaid: a'r holl Gethiaid [sef] y chwe chan-wr y
rhai a ddaethent ar ei ol ef o Gath oeddynt yn
cerdded o flaen y brenin.
Pen 8,1 18, 2 19 [s] Yna y dywedodd y brenin wrth Ittai y
Gethiad, I ba beth yr ei di hefyd gyd a ni? dych-
wel, a thrig gyd a'r brenin, canys dieithr ydwyt
ti, a chyrwydrad hefyd o'th fro dy hun.
Tim. 1, 20 [t] Doe y daethost ti, a fudwn i di heddyw
i fyned gyd a ni? myfi a âf i rwy lê: dychwel, a
dŵg dy frodyr gyd a thi [mewn] trugaredd, a
gwirionedd.
Diar. 17 21 [u] Ac Ittai a attebodd y brenin, ac a ddyw-
Ruth 1,16 edodd, [Fel] mai byw 'r Arglwydd, ac mai byw
fy arglwydd frenin, yn unic yn y lle 'r hwn y by-
Diar. 18, ddo fy arglwydd frenin ynddo pa un bynac ai i
angeu, ai i enioes, yno yn ddiau y bŷdd dy wâs.
22 Yna Dafydd a ddywedodd wrth Ittai, Dôs,
a cherdda: ac Ittai y Gethiad a aeth ai holl wŷr,
a'r holl blant y rhai [oeddynt] ganddo ef.
Pen 16, 25 [v] A'r holl wlâd oeddynt yn llefain a llef uch-
Mat 12,14 Thes. 2, el, pan ydoedd yr holl bobl yn myned: a'r bren-
in a aeth tros afon Cedron, a'r holl bobl a aeth-
ant ar hŷd ffordd yr anialwch,
Num 4 24 [w] Yna wele Zadoc, a'r holl Lefiaid [oedd-
ynt] gyd ag ef, yn dwyn Arch cyfammod Duw,
Gen. 6, 3 Jos. 3,3,6 a hwy a osodasant i lawr Arch Dduw, ac Abia-
Cr. 3, 17 thar a aeth i fynu, nes darfod i'r holl bobl ddy-
fod allan o'r ddinas.
1 Sam. 4 25 [x] Yna y dywedodd y brenin wrth Zadoc,
Jos. 3,3,8 Gen 6, 17 Dychwel ag Arch Dduw i'r ddinas: os cafi
ffafor yng-olwg yr Arglwydd, efe a'm dwg i eil-
waith, ac a bar i mi ei gweled hi, ai phabell.
1 Sam. 3, 18 26 [y] Ond os fel hyn y dywed efe, Nid wyf fodlon
Sal. 39, 9 Act. 21,14 it: wele fi, gwnaed i mi fel [y byddo] da yn ei olwg.

27 A'r brenin a ddywedodd wrth Zadoc yr off-
eiriad, onid * gweledudd [ydwyt] ti? dychwel i'r *1Sam. 9, 9
ddinas mewn heddwch, a'th ddau fab gyd a thi
[sef] Ahimaaz dy fab, ac Ionathan mab Abiathar.
28 Gwelwch fi yn aros yn rhossydd yr anial-
wch, nes dyfod gair oddi wrthit iw fynegu i mi.
29 [z] Felly Zadoc, ac Abiathar a ddugasant yn z Pen 17,
ol Arch Dduw i Ierusalem: ac a arhosasant yno. 17
30 [a] A Dafydd a aeth i fynu i frynn yr oliw- a Pen 19,
ydd, yr oedd yn myned i fynu, ac yn wylo, ai 4
benn wedi ei oruchguddio, ac yr oedd efe yn Est. 6, 12 Ier. 14,3,4
myned yn droed-noeth: a'r holl bobl y rhai [oe- Esa. 20,2, 4
ddynt] gyd ag ef a oruchguddiasant bawb ei Ier. 2, 25 Hos. 12,10
ben, ac a aethant i fynu, gan fyned ac wylo.
31 [b] Yna y mynegwyd [i] Ddafydd gan ddy- bPen. 16,
wedyd, Ahitophel [sydd] mewn cydfradwriaeth 23 a 17,14
ag Absalom: a Dafydd a ddywedodd, O Arg-
lwydd diddymma attolwg gyngor Ahitophel.
32 [c] A phan ddaeth Dafydd hyd benn [y brynn] cLuc 19,
yr hwn yr addole efe Dduw ynddo, yna wele 29 1Bren. 8,
Husai'r Arciad yn ei gyfarfod ef wedi rhwygo 44 Ios. 16, 2
ei bais, a phridd ar ei benn.
33 A Dafydd a ddywedodd wrtho ef: od ei
trosodd gyd a mi, byddi yn faich arnafi.
34 [d] Ond os dychweli i'r ddinas, a dywedyd dAdn. 31
wrth Absalom, Dy was di O frenin fyddaf, gwas Pen 14,14
dy dâd [fum] er ystalm, ac yn awr dy was dithe Act. 27, 31
[ydwyfi] hefyd: a diddymma i mi gyngor Ahi- Gen. 33,8 Mat. 4, 7
tophel.
35 [e] Oni [bydd] gyd a thi yno Zadoc, ac Abi-
athar yr offeiriaid: am hynny pob gair a'r a gly- eBarn. 4, 6
wech o dŷ 'r brenin, mynega [ef] i Zadoc, ac i
Abiathar yr offeiriaid.
36 [f] Wele [y mae] yno gyd a hwynt eu dau fab, f1Sam. 17,
[sef] Ahimaaz [mab] Zadoc, ac Ionathan [mab] 17
Abiathar: danfonwch gan hynny gyd a hwynt
attafi bob peth a'r a glywoch.
37 [g] Felly Husai cyfeill Dafydd a ddaeth i'r gDiar. 17, 17
ddinas: ac Absalom a ddaeth i Ierusalem. Ruth 1, 16

## PEN. XVI.

*Ziba yn bradychu ei feistr. 5 Simei yn rhegu Dafydd. 16 Dyfodiad Husai at Absalom. 21 Cyngor Akitophel am y gordderch-wragedd.*

PAN [h] aethe Dafydd ychydig o benn [y hPen 15,
bryun,] yna wele Ziba gwas Mephiboseth 30 Pen 9, 2
yn ei gyfarfod ef: a chwpl o assynnod wedi eu Diar. 18,
cyfrwyo, ac arnynt hwy ['r oedd] dau cant [torth] o 16 a 20, 4
fara, a chant o resynnau, a chant o ffigus, a
chostreled o wîn.
2 Yna y dywedodd y brenin wrth Ziba, Beth
[yw] y rhai hyn [sydd] gennit: Ziba a ddywed-
odd, Assynnod i dylwyth y brenin i farchogeth,
a bara, a ffigus i'r llangciau iw bwytta, a gŵin i'r
deffygiedic i'w yfed yn yr anialwch [ydynt hwy.]
3 [i] A'r brenin a ddywedodd, Ond pa le [y mae]
mab dy feistr di? a Ziba a ddywedodd wrth y iDiar. 1,
brenin, Wele y mae efe yn aros yn Ierusalem, 19, a 16,28 a 21, 28 6 Sal. 15, 3

canys efe a ddywedodd, Tŷ Israel a roddant
chefn i mi heddyw frenhiniaeth fy nhad.
k Ex. 23 8 Diar. 18, 15 Deut. 19 15 4 [k] Yna y dywedodd y brenin wrth Ziba, Wele
eiddo ti 'r hyn oll [oedd] gan Mephiboseth: a
Ziba a ddywedodd, Yr ydwyf yn attolwg gael o
honof ffafor yn dy olwg di fy arglwydd frenin.
l Pen 3,16 1 Bre. 2,9 Mat 5,12 Ioan 16, 33 5 [l] Pan ddaeth y brenin Dafydd hyd Bahurim,
yna wele un o dylwyth tŷ Saul yn myned allan
oddi yno, ai enw ef [oedd] Simei mab Gera yn
‖ gerrig at Dafydd, ac at, &c. myned gan gerdded a melldigo.
6 Ac efe a daflodd ‖Dafydd a cherric, a holl
weision y brenin Dafydd: er[bod]yr holl bobl a'r
holl gedyrn ar ei law ddehau, ac ar ei law asswy.
m Sal. 5,6 Pen 3, 37 a 4, 11, 12 Deut. 13 13 7 [m] Ac fel hyn y dywede Simei wrth ei felldith-
io ef: Tyret allan, tyret allan ŵr gwaedlyd, a
gŵr i'r fall.
Sal 119,6 n Barn. 9 24 8 [n] Yr Arglwydd a drodd arnat ti holl waed
tŷ Saul, yr hwn y teyrnasaist yn ei le, a'r Ar-
glwydd a roddodd y frenhiniaeth yn llaw Ab-
salom dy fab di: ac wele di yn dy ddrygioni dy
hun, canys gŵr gwaedlyd [ydwyt] ti.
o Ex. 22, 28 Pen 9, 8 * 1 Sam. 24, 15 Pen 3, 8 9 [o] Yna y dywedodd Abisai mab Serfia wrth
y brenin, Paham y melldithia y ci * marw hwn
fy arglwydd frenin? gad i mi fyned attolwg fel
y torrwyf ymaith ei ben ef.
p Gen. 15, 20 Esa. 10,5 1 Bren. 22 21, 22 Sal. 39, 9 Iob 1, 21 1 Bre. 2,9 10 [p] A'r brenin a ddywedodd, Beth [sydd] i mi
a [wnelwyf] a chwi meibion Serfia? canys mell-
dithio y mae efe o herwydd yr Arglwydd a
ddywedodd wrtho ef, Melldithia Ddafydd; am
hynny pwy a ddywed pa ham y gwnaethost hyn?
Pen 12,11 12 q Mat. 2, 20 11 [q] A Dafydd a ddywedodd wrth Abisai, ac
wrth ei holl weision, Wele fy mab yr hwn a
ddaeth allan o'm emiscaroedd yn ceisio fy ein-
ioes, ac yn awr pa feint mwy [y cais] mab Iemi-
ni? gedwch iddo, a melldithied, canys yr Ar-
glwydd a archodd iddo.
r Deu. 23, 5 Rhu. 8,28 12 [r] Ond odid fe a edrych yr Arglwydd ar
fyng-hystudd i: a'r Arglwydd a ddyry i mi
ddaioni am ei felldith ef y dydd hwn.
13 A Dafydd a aeth a'i wŷr i ffordd: Simei
oedd yn myned ar hyd ystlys y mynydd ar ei
gyfer ef, ac fel yr oedd efe yn myned, efe a fell-
dithiodd, ac a daflodd gerric, ac a lychiodd
lwch i'w erbyn ef.
14 Yna y daeth y brenin, a'r holl bobl y rhai
[oeddynt] gyd ag ef yn ddeffygiol: ac efe a or-
phywysodd yno.
15 Ac Absalom a'r holl bobl [sef] gwŷr Isra-
el a ddaethant i Ierusalem: ac Ahitophel gyd
ag ef.
16 A phan ddaeth Husai'r Arciad cefell Da-
fydd at Absalom, yna Husai a ddywedodd wrth
Absalom: Byw fo'r brenin, byw fyddo'r brenin.
17 [s] Yna Absalom a ddywedodd wrth Husai:
s Diar. 17 17 Adn 16 Ai dymma dy garedigrwydd di i'th gefell? pa-
ham nad aethost ti gyd a'th gefell?
t 1 Sam. 16,13 18 [t] A Husai a ddywedodd wrth Absalom, Nid
tim, eithr yr hwn a ddewiso'r Arglwydd, ar
bobl ymma, sef holl wyr Israel: eiddo ef fyddaf i,
a chyd ag ef yr arhoesaf fi.
19 Ar bwy hefyd y gwasanaethaf, onid ger
bron ei fab ef? megys y gwasanaethais ger bron
dy dad ti, felly y byddaf ger dy fron dithe.
20 [u] Yna y dywedodd Absalom wrth Ahito- u Ex. 1,10
phel: Rhoddwch eich cyngor beth a wnawn ni;
21 [v] Ac Ahitophel a ddywedodd wrth Absa- v Gen. 6,4
lom, Dos i mewn at ordderch-wragedd dy dad y Pen 15,3
rhai a adawodd efe i gadw y tŷ; pan glywo holl a 15, 16
Israel dy fod yn ffiaid gan dy dad, yna y cryfhe-
uir llaw y rhai oll [ydynt] gyd a thi.
22 [w] Felly y tanasant i Absalom y babell ar w Pen 11
nen y tŷ; * ac Absalom a aeth i mewn at ordderch- 2 a 12, 11
wragedd ei dâd yng-wydd holl Israel. 12 Esa. 3,9
23 A chyngor Ahitophel, yr hwn a gynghorai Num. 25, 6
efe yn y dyddiau hynny [oedd] fel pe ymofynne * 2 Sam. 12 11
[un] a gair Duw; felly [’r oedd] holl gyngor Ahi-
tophel i Ddafydd hefyd, fel i Absalom.

## PEN. XVII.

*Absalom yn dewis cyngor Husai o flaen cyngor Ahitophel. 29 Yntef am hynny yn ymgrogi.*

DYWEDODD [x] Ahitophel hefyd wrth Ab- x Diar. 4, 16
salom; Gad i mi yn awr ddeuddeng-mil o
wŷr, ac mi a gyfodaf, ac a erlidiaf ar ol Dafydd Rhuf. 3, 15
liw nos.
2 [y] A mi a ddeuaf arno ef, tra fyddo efe yn llu-
ddedic, ac yn wann ei ddwylaw, ac ai brawy- y Deut. 25, 18
chaf ef, fel y ffu'r holl bobl y rhai [ydynt] gydag Mat. 4, 2 Pen 16, 14
ef: felly y tarawaf y brenin ei hunan.
3 [z] A throaf yr holl bobl attat ti: [a] phan ddych- z Esa. 3
welo pob un [wedi lladd] y gŵr yr hwn yr ydwyt 20
ti'n ei geisio, yr holl bobl fydd[mewn]heddwch. Iob 21,1
4 [a] A da fu'r peth yng-olwg Absalom, ac yng- a 1 Sam 23, 21
olwg holl henuriaid Israel. Est. 5,4
5 Yna y dywedodd Absalom, Galw attolwg Rhu. 13
hefyd ar Husai yr Arciad: a gwrandawn beth a
ddywedo† yntef hefyd. † Heb. sy'n ei enau yntau
6 Pan ddaeth Husai at Absalom, yna y llef-
arodd Absalom wrtho ef gan ddywedyd, Fel hyn
y dywedodd Ahitophel, a wnawn ni ei gyngor ‡ Heb. yn ol air ef?
ef,‡ ai nis [gwnawn?] dywet ti.
7 [b] Yna y dywedodd Husai wrth Absalom: Nid b Diar. 8, 9
da y cyngor yr hwn a gynghorodd Ahitophel y Preg. 3
waith hon.
8 Canys eb Husai, Ti a wyddost am dy dad § Heb. chwerw eu henaid
ai wŷr, mai cryfion [ydynt] hwy, a chreulon, §me-
gis arth wedi difa ei chenawon yn y maes: dy Barn. 1
dad hefyd [sydd] ryfel-wr, ac nid erys efe tros 25
nos gyd a'r bobl.
9 [c] Wele yn awr y mae efe yn llechu, mewn c 1 Sam 22, 1
rhyw ogof neu mewn rhyw le: a phan syrthio a 23, 8
[rhai] o honynt yn y dechreu, yna y [bobl] a
glyw, ac a ddywed, Bu pla yn erbyn y bobl y
rhai [oeddynt] ar ol Absalom. d Deu. 28
10 [d] Yna'r un grymmysaf yr hwn [y mae] ei Ios. 2

galon fel calon llew a lwfrhâ: canys gŵyr holl
Israel mai glew [yw] dy dad ti, ac [mai] meib-
ion nerthol [yw] y rhai [sydd] gyd ag ef.
e Barn 20 11 e Am hynny y cynghoraf lwyr gasclu attat
1 ti holl Israel o Dan hyd Beerseba fel y tywod
Ios.11,4 y rhai [ydynt] wrth y môr o amldra, a'th wyneb
Sal.9,16 dy hun aiff i'r rhyfel.
12 Felly y deuwn atto ef i un o'r lleoedd yr
hwn y ceffir ef ynddo, ac a werssyllwn i'w er-
byn ef fel y syrth y gwlith ar y ddaiar: ac ni
adewir [dim] o honaw ef nac un ychwaith o'r
gwŷr y rhai [ydynt] gyd ag ef.
f 1 Bren. 13 f Ond os i ddinas yr ymgasgl ef, yna holl
20, 10 Israel a ddygant raffau at y ddinas honno: ac
Sal.83,14 ni ai tynnwn hi hyd yr afon, fel na cheffir yno
Mat.24,2 un garregan.
14 g Yna y dywedodd Absalom, a holl wŷr
1 Cor. 1 Israel, Gwell [yw] cyngor Husai yr Arciad, na
0 a 3, 19 chyngor Ahitophel: canys yr Arglwydd a or-
Luc 16,8 deiniase ddiddymmu cyngor da Ahitophel, fel
Neh. 1,15 y dyge yr Arglwydd ddrygioni ar Absalom.
Sal. 33, 9
a 111,9 a
18, 5
15 Yna y dywedodd Husai wrth Zadoc, ac wrth
Abiathar yr offeiriad, Fel hyn, ac fel hyn, y cyng-
horodd Ahitophel i Absalom, ac i henuriaid Isra-
el: ac fel hyn, ac fel hyn y cynghorais inne.
16 Yn awr gan hynny anfonwch yn fuan a
mynegwch i Ddafydd gan ddywedyd, Nac aros
tros nôs yn rhossydd yr anialwch, onid gan
fyned dos, rhac difetha y brenin, a'r holl bobl y
rhai [ydynt] gyd ag ef.
Pen 15 17 h Ionathan hefyd, ac Ahimaaz oeddynt yn
sefyll wrth ffynnon Rogel, ac fe aeth llangces
18, 15, 7 ac a fynegodd iddynt, hwythau a aethant ac a
18, 16 fynegasant i'r brenin Dafydd: ni allent hwy ym-
ddangos i fyned i'r ddinas.
Ios.2,2,7 18 i Etto llangc ai gwelodd hwynt, ac a fy-
x. 1, 21 negodd i Absalom, am hynny'r aethant ill dau
yn fuan, ac y daethant i dŷ gŵr yn Bahurim, ac
iddo ef [yr oedd] pydew yn ei gyntedd, ac hwy
a aethant i wared yno.
19 Yna y wraig a gymmerth, ac a ledodd
glawr ar wyneb y pydew, ac a danodd arno ef
falurion: fel na wybuwyd y peth.
20 A phan ddaeth gweision Absalom at y
wraig i'r tŷ, hwy a ddywedasant, Pa le [y mae]
Ahimaaz ac Ionathan? a'r wraig a ddywedodd
wrthynt, Hwy a aethant tros y ffrwd ddwfr:
pan geisiasant, ac nas cawsant [hwy,] yna y
dychwelasant i Ierusalem.
21 Ac ar ol iddynt hwy fyned ymmaith, yna
[y lleill] a ddaethant i fynu o'r pydew, ac a aeth-
ant, ac a fynegasant i'r brenin Dafydd: ac a
ddywedasant wrth Ddafydd, Cyfodwch, ac
ewch yn fuan tros y dyfroedd, canys fel hyn y
cynghorodd Ahitophel yn eich erbyn chwi.
j Act. 27, 22 j Yna y cododd Dafydd a'r holl bobl y
31
Pen 18, 7 rhai [oeddynt] gyd ag ef, ac a aethant tros yr

Iorddonen, nes goleuo'r boreu, fel nad oedd un
yn eisie a'r nad aethe tros yr Iorddonen.
23 k Pan welodd Ahitophel na wneuthid ei k Pen 15, 12
gyngor ef, yna efe a gyfrwyodd ei assyn, ac a 2 Bren. 20, 1
gyfododd, ac a aeth i'w dŷ ei hun, yn ei ddinas Mat 27, 5
ei hun, ac a gymmerodd drefn am ei dŷ, ac a Iob 31, 3 Sal. 59, 15
ymdagodd: felly efe a fu farw, ac a gladdwyd Diar. 10, 28 a 11, 7
yn meddrod ei dad. Rhuf. 6, 23
24 l Yna Dafydd a ddaeth i Mahanaim: ac Zec. 12, 10
Absalom a aeth tros yr Iorddonen, efe a holl l Pen. 2, 8
wŷr Israel gyd ag ef. Dat. 13, 12
25 m Ac Absalom a osododd Amasa yn lle Ioab 2 Cro. 13, 8
ar y llu: ac Amasa [oedd] fab i ŵr ai enw Ith- m 1 Cron. 2, 17
ra yr hwn [oedd] Israeliad, yr hwn a ddaeth at Gen. 6, 4
Abigail ferch Nahas chwaer Serfia, mam Ioab. 1 Cron. 2 16, 17
26 Felly y gwersyllodd Israel, ac Absalom
yng-wlad Gilead.
27 n A phan ddaeth Dafydd i Mahanaim: yna n Pen 10, 1 a 12, 30
Sobi mab Nahas o Rabbath meibion Ammon, Pen. 9, 4 a 19, 31
o Machir mab Ammiel o Lodebar, a Barzelai
y Gileadiad o Rogelim,
28 [A ddugasant] welâu, a chawgiau, a llestri
pridd, a gwenith, a haidd, a blawd, a chrasyd:
ffâ hefyd, a ffacbys, a chrasbys.
29 o Mêl hefyd, ac ymenyn, a defaid, a chaws o Sal. 34, 8 10
a gwarthec a ddugasant hwy i Ddafydd, ac i'r
bobl y rhai [oeddynt] gyd ag ef i'w bwytta: ca-
nys dywedasant, [Y mae]'r bobl yn newynoc,
yn flin hefyd, ac yn sychedic yn yr anialwch.

## PEN. XVIII.

*Dosparthiad llu Dafydd. 9 Derwen yn crogi Absalom erbyn gwallt ei ben. 34 Galar Dafydd tros Absalom.*

YNA p Dafydd a gyfrifodd y bobl y rhai [o- p Sal. 3, 1 a 37, 4
eddynt] gyd ag ef: ac efe a osododd arnynt Ex. 17, 9
hwy filwriaid, a chan-wriaid.
2 q A Dafydd a anfonodd y bobl, sef y drydedd q 1 Sam. 26, 6
rann tann law Ioab, a'r drydedd rann tann law Pen 15, 19
Abisai fab Serfia brawd Ioab, a'r drydedd rann
tann law Ithai y Gethiad: a'r brenin a ddywedodd
wrth y bobl, Gan fyned yr âf finne hefyd gyd a
chwi.
3 r Yna y dywedodd y bobl, Nid ei di allan, r 1 Bren. 22, 31
canys os gan ffoi y ffoiwn ni, ni osodant hwy [eu] Pen. 17, 2
meddwl arnom ni, ac os bydd marw ein hanner Galar. 4 20
ni, ni osodant [eu] meddwl arnom, canys yn awr
[yr ydwyti] fel deng-mil o honom ni: yn awr
gan hynny gwell [yw] i ti fod i'n cynnorthwyo
ni o'r ddinas. s Deut. 32
4 s Yna y dywedodd y brenin wrthynt hwy, 12
Gwnaf yr hyn fyddo da yn eich golwg chwi: a'r Adn. 8
brenin a safodd ger llaw'r porth a'r holl bobl a
aethant allan yn gantoedd, ac yn filoedd.
5 t A'r brenin a orchymynnodd Ioab, ac Abi- t Pen. 16, 10, 11
sai, ac Ithai gan ddywedyd, [Chwarewch] yn Deut. 21,
araf er fy mwyn i a'r llangc Absalom: a'r holl 21
bobl a glywsant pan orchymynnodd y brenin i'r
holl bennaethiaid yn achos Absalom.

u Barn. 12, 5 6 [u] Felly'r aeth y bobl i'r maes i gyfarfod Is-
rael, a'r rhyfel fu yng-hoed Ephraim.
v Diar. 11, 21 a 24, 21, 22 7 [v] Ac yno y lladdwyd pobl Israel o flaen
Sal. 77, 17 gweision Dafydd: ac yno y bu lladdfa fawr y
dwthwn hwnnw [sef] ugain mil.
8 Canys y rhyfel oedd yno wedi gwascaru ar
hyd wyneb yr holl wlad: a'r coed a ddifethodd
fwy o'r bobl, nac a ddifethodd y cleddyf y diwr-
nod hwnnw.
w Pen. 14, 26 9 [w] Ac Absalom a gyfarfu a gweision Dafydd
Iob 18, 9, 10 yn [eu] hwyneb: ac Absalom oedd yn march-
Diar. 30, 17 ogaeth ar fûl, a'r mûl aeth tann dderwen fawr
Deut. 21, 23 ddyrus, ai ben ef a lynodd yn y dderwen, felly
Pen. 17, 23 yr oedd efe rhwng y nefoedd a'r ddaiar, a'r mûl
yr hwn [oedd] tano ef a aeth ymmaith.
10 A rhyw un a ganfu [hynny] ac a fynegodd
i Ioab, ac a ddywedodd, Wele, gwelais Absa-
lom yng-hrog mewn derwen.
x Pen. 14, 26 11 [x] Yna y dywedodd Ioab wrth y gŵr yr hwn
oedd yn mynegu iddo ef, Os gwelaist ti [ef] pa
ham na's tarewaist ef yno i'r llawr? fel [y buase]
arnafi roddi i ti ddeg [sicl] o arian, ac un gwre-
gys?
12 Yna y dywedodd y gŵr wrth Ioab, Pe
cawn bwyso ar fy llaw fil [o siclau] arian, nid
estynnwn fy llaw ar fab y brenin, canys gor-
chymynnodd y brenin lle y clywsom ni wrthit
ti, ac wrth Abisai, ac wrth Ithai gan ddywedyd,
Gwiliwch [gyffwrdd] o neb a'r llangc Absalom.
y Sal. 85, 11 13 [y] Pe gwnelswn [hynny, rhoddasid] ffalster
yn erbyn fy einioes i, canys nid oes dim yn
guddiedic oddiwrth y brenin; tithe hefyd a sa-
fasit yn [fy] erbyn.
z Sal 45, 5 14 [z] Yna y dywedodd Ioab, Nid arhoaf fel
Ex. 1, 17 hyn o'th flaen di; ac efe a gymmerth dair o bi-
Deu. 4, 11 cellau yn ei law, ac ai gwthiodd yng-halon Ab-
Mat. 12, 40 salom, ac efe etto yn fyw yng-hanol y dderwen.
15 A'r deg llangc y [rhai] oeddynt yn dwyn
arfau Ioab, a amgylchynasant, ac a darawsant
Absalom, ac ai lladdasant ef.
16 Yna Ioab a udcanodd mewn udcorn, a'r
bobl a ddychwelasant o erlid ar ol Israel; ca-
nys Ioab a ataliodd y bobl.
a Ier. 22, 18, 19 17 [a] Ac hwy a gymmerasant Absalom, ac ai
Ios. 7, 26 bwriasant ef mewn ffôs fawr yn y coed, ac a
a 10, 27 osodasant arno ef garnedd gerric fawr iawn; a
Galar. 3, 53 holl Israel a ffoasant pob un i'w babell.
b Sal. 49, 11 18 [b] Ac Absalom a gymmerase, ac a osodase
1 Sam 15, 12 iddo yn ei fywyd golofn * yn nyffryn y brenin,
*Gen. 14, 17 canys efe a ddywedodd, Nid [oes] fab gennif i
Pen. 14, 27 wneuthur coffa am fy enw; ac efe a alwodd y
Iob 18, 17 golofn ar ei enw ei hun, ac hi a elwir lle Absa-
lom hyd y dydd hwn.
c Sal. 9. 4 19 [c] Yna Ahimaaz mab Zadoc a ddywedodd,
Barn. 2, 16 Rhedaf yn awr, a mynegaf i'r brenin ddarfod
i'r Arglwydd ei farnu ef o law ei elynion.
d Sal. 112, 5 20 [d] Ac Ioab a ddywedodd wrtho ef, Ni [byddi]
di yn gennad-wr y dydd hwn, eithr mynegi
ddiwrnod arall; ond heddyw ni fynegi di, o her-
wydd marw mab y brenin.
21 [e] Yna y dywedodd Ioab wrth Chusi, Dos e Num. 13, 4
dywet i'r brenin yr hyn a welaist; a Chusi a ym- Ier. 13, 23
grymmodd i Ioab, ac a redodd.
22 Yna Ahimaaz mab Zadoc a ddywedodd
eilwaith wrth Ioab, Pa beth a fydd, os mi a
redaf yn awr ar ol Chusi? a dywedodd Ioab, I
ba beth y rhedi di fy mab, gan nad [oes] gennit ti
gennadwriaeth addas?
23 Beth bynnac a fyddo mi a redaf, a dywed-
odd yntef wrtho ef, Rhêd; felly Ahimaaz a red-
odd rhyd y gwastadedd, ac a aeth heibio i Chusi.
24 [f] A Dafydd oedd yn eistedd rhwng y ddau f 1 Sam. 4, 13
borth; a'r gwiliedudd aeth ar nenn y porth ar y
mûr, ac a dderchafodd ei lygaid, ac a edrychodd
ac wele ŵr yn rhedeg ei hunan.
25 A'r gwiliedudd a waeddodd, ac a fynegodd
i'r brenin, a'r brenin a ddywedodd, Os ei hun
[y mae] efe, cennadwriaeth [sydd] yn ei enau ef;
ac efe a ddaeth, ac a nesaodd.
26 A'r gwiliedydd a ganfu ŵr arall yn rhedeg,
a'r gwiliedudd a alwodd ar y porthor, ac a ddy-
wedodd, Wele ŵr [arall] yn rhedeg ei hunan;
a dywedodd y brenin, Hwn hefyd sydd gennad.
27 [g] A'r gwiliedudd a ddywedodd, Yr ydwyf g Col. 4, 10 Sal. 50, 16
fi yn gweled rhediad y blaenaf fel rhediad Ahi-
maaz mab Zadoc; yna y dywedodd y brenin,
Gŵr da [yw] hwnnw, ac a chennadwriaeth dda
y daw efe.
28 [h] Yna Ahimaaz a alwodd, ac a ddywedodd h Sal. 44, 4 a 115, 1
wrth y brenin, Heddwch, ac a ymgrymmodd i
lawr ar ei wyneb i'r brenin; ac a ddywedodd,
Bendigedic [fyddo]'r Arglwydd dy Dduw yr
hwn a warchaodd ar y gwŷr y rhai a gyfodent
eu llaw yn erbyn fy arglwydd frenin.
29 A'r brenin a ddywedodd, Ai diangol y llangc
Absalom? yna y dywedodd Ahimaaz, Gwelais
gythryfwl mawr, pan anfonodd Ioab wâs y bre-
nin, a'th wâs dithe, ond ni wybum i ddim.
30 A'r brenin a ddywedodd, Tro, saf ymma:
ac efe a drodd, ac a safodd.
31 Ac wele Chusi a ddaeth, a dywedodd
Chusi, Mynegir i ti fy arglwydd frenin mai yr
Arglwydd a'th farnodd di heddyw o law pawb
a'r sydd yn ymgyfodi i'th erbyn.
32 Yna y dywedodd y brenin wrth Chusi, A
ddiangodd y llangc Absalom? a dywedodd Chusi,
Fel y llangc hwnnw y byddo gelynion fy arg-
lwydd frenin, a'r holl rai a ymgyfodant i'th er-
byn mewn drygioni.
33 [i] A'r brenin a gyffrôdd, ac a aeth i fynu i i Pen. 18, 23
stafell y porth, ac a ŵylodd, ac fel hyn y dywed- Gal. 3, 13
odd efe wrth fyned, O fy mab Absalom, fy mab, Iago 5, 6 1 Cor. 11, 1
fy mab Absalom, O na bawn farw trosot ti Ab-
salom fy mab, fy mab.

## PEN. XIX.

*Dafydd wrth gyngkor Ioab yn ymddangos yn gysurus i'r bobl. 23 Dyfodiad Simei a Mephiboseth at Ddafydd. 34 Barzelai yn gwrthod myned gyd á'r brenin. 41 Israel ac Iuda yn ymryson.*

YNA y mynegwyd i Ioab: Wele y brenin
yn ŵylo, ac yn galaru am Absalom.
j Sal. 3, 8 2 j A'r fuddugoliaeth a fu y dwthwn hwnnw yn
Preg 3, 1 12 alar i'r holl bobl: canys clywodd y bobl y diwr-
Neh. 8, 9 nod hwnnw ddywedyd, dristau o'r brenin am ei
Diar. 16, 15 a 19, 2 fab.
3 A'r bobl a aethant yn lledradaidd y diwrn-
nod hwnnw gan fyned i mewn i'r ddinas: fel
pobl a fydde yn myned yn lledradaidd wedi eu
cywilyddio wrth ffoi o ryfel.
k Pen. 15, 30 4 k Felly y brenin a oblygodd ei wyneb, a'r
brenin a waeddodd a llêf uchel, O fy mab Absa-
lom, Absalom fy mab, fy mab.
5 Yna Ioab a ddaeth i mewn i'r tŷ at y brenin,
ac a ddywedodd, Gwaradwyddaist heddyw wy-
nebau dy holl weision, y rhai a amddeffynasant
dy einioes di heddyw, ac einioes dy feibion, a'th
ferched, ac einioes dy wragedd, ac einioes dy
ordderch-wragedd,
l Gal. 6, 1 6 l Gan garu dy geision, a chasau dy garedig-
Diar. 19, 10 ion: canys mynegaist heddyw nad oedd gennit
ti dywysogion, na gweision, o herwydd mi a wn
heddyw os Absalom fuase byw, a ninne i gyd
yn feirw heddyw; yna mai da fuase [hynny] yn
dy olwg di.
m Diar. 4, 28 7 m Cyfod yn awr gan hynny, tyret allan, a dy-
wed yn dêg wrth dy weision: canys tyngais i'r
Arglwydd os ti ni ddeui allan nad erys neb gyd
a thi y nosson hon, a gwaeth fydd hyn i ti, na'r
holl ddrwg yr hwn a ddaeth i'th erbyn di o'th
febyd hyd yr awr hon.
Ruth 4, 8 n Yna y brenin a gyfododd, ac a eisteddodd
yn y porth: a mynegwyd i'r holl bobl gan ddy-
Bren. 18 wedyd, Wele y brenin yn eistedd yn y porth, a'r
holl bobl a ddaethant o flaen y brenin, canys
Israel a ffoase bob un iw pebyll.
9 o Ac yr oedd yr holl bobl yn ymryson drwy
Esa. 8, 21 Bhuf. 6, 1 holl deulnoedd Israel gan ddywedyd, Y bren-
Gen. 3, 12 3 in a'n gwaredodd ni o law ein gelynnion, ac efe
a'n gwaredodd ni o law y Philistiaid, ac yn awr
efe a ffôdd o'r wlad rhac Absalom.
Hos. 8, 4 10 p Ac Absalom yr hwn a eneiniasom ni ar-
Barn. 18, nom a fu farw mewn rhyfel: ac yn awr pa ham
Rhuf. 12, 1 yr ydych yn peidio a chyrchu yr brenin trachefn?
2 Cor. 2, 20 11 q Yna y brenin Dafydd a anfonodd at Za-
Pen 8, 20 doc, ac at Abiathar yr offeiriaid gan ddywedyd,
Mat 5, 16 Cor. 10, 1 Lleferwch wrth henuriaid Iuda gan ddywedyd,
Pedr 2, 1 Pa ham yr ydych chwi olaf i ddwyn eilwaith y
Phil. 3, 17 brenin iw dy? canys gair holl Israel a ddaeth at
The. 3, 9 y brenin [am ei ddwyn eilwaith] iw dŷ ei hun.
12 r Fy mrodyr [ydych] chwi, fy ascwrn a'm
r Pen. 5, 1 cnawd [ydych] chwi: pa ham gan hynny'r yd-
ych yn olaf i ddwyn adref y brenin?
13 s Dywedwch hefyd wrth Amasa, Onid fy as- s Pen 17, 25
cwrn i a'm cnawd i [ydwyt] ti? fel hyn y gwnelo
Duw i mi, ac fel hyn y chwanego, onid tywysog
y llu fyddi di ger fy mron i yn lle t Ioab byth. t Adn 5, 6 Pen. 3, 39
14 u Felly efe a drodd galon holl wŷr Iuda fel a 18, 14 u Barn. 20, 1
[calon] un gŵr: a hwy a anfonasant at y brenin
[gan ddywedyd.] Dychwel di a'th holl weision.
15 v Felly y brenin a ddychwelodd, ac a dda- v Ios. 5, 9
eth hyd yr Iorddonen: ac Iuda a ddaeth i Gil-
gal i fyned i gyfarfod a'r brenin, i ddwyn y bre-
nin tros yr Iorddonen.
16 w A Simei mab Gera mab Iemini, yr hwn w 1 Bren 2, 8
[oedd] o Bahurim a fryssiodd: ac a ddaeth i wa- Pen 16, 5
red gyd a gwŷr Iuda, i gyfarfod a'r brenin Dafydd. Iob. 2, 44
17 A mil o wŷr o Beniamin [oeddynt] gyd ag
ef, * Ziba hefyd gwâs ty Saul, ai bymtheng-mab * Pen 16, 15
ai ugain gwas gyd ag ef: ac a aethant tros yr Pen 9, 10
Iorddonen o flaen y brenin.
18 Ar yscraff aeth trosodd i ddwyn trwodd
dylwyth y brenin, ac i wneuthur yr hyn fydde
dda yn ei olwg ef: yna Semei mab Gera a syr-
thiodd ger bron y brenin, pan ddaeth efe tros yr
Iorddonen.
19 x Ac efe a ddywedodd wrth y brenin, Na x Pen 16, 5
ddannoded * fy arglwydd i mi anwiredd, ac na
chofia yr hyn a wnaeth dy was yn anwir, y dydd
yr aeth fy arglwydd frenin o Ierusalem: gan
osod o'r brenin [hynny] at ei galon.
20 y Canys dy was sydd yn cydnabod bechu y Mat. 5, 25
o honofi: ac wele deuthum heddyw yn gyntaf o Zec. 10, 6
holl dŷ Ioseph i ddyfod i wared i gyfarfod a'm Esa. 7, 2 a 11, 15
harglwydd frenin. Ier. 31, 9 Heb. 5, 13
21 z Ac Abisai mab Serfia a attebodd, ac a z Ex. 21, 17 a 22, 28
ddywedodd, Ai o herwydd hyn ni roddir Semei
i farwolaeth? am iddo ef felldithio eneiniog yr
Arglwydd?
22 a Yna y dywedodd Dafydd, Beth [sydd] i mi a Mat. 16, 23
[a wnelwyf] a chwi meibion Serfia, gan eich bod
i mi yn wrthwynebwyr heddyw? a roddir i farw-
olaeth heddyw neb yn Israel (canys oni wn i
mai heddyw'r ydwyfi yn frenin ar Israel?)
23 b A'r brenin a ddywedodd wrth Semei, Ni b 1 Bren. 2, 9, 10
byddi di farw; a'r brenin a dyngodd wrtho ef. c Dan. 5, 18
24 c Mephiboseth mab Saul hefyd a ddaeth i
wared i gyfarfod a'r brenin: ac ni olchase efe ei Pen. 9, 3, 6
draed, ac ni eilliase ei farf, ac ni olchase ei ddill- Deut. 21, 12
ad, er y dydd yr aethe yr brenin, hyd y dydd Heb. 13, 3 Rhuf. 12, 13
[yn] yr hwn y daeth efe mewn heddwch.
25 A phan ddaeth efe i Ierusalem i gyfarfod
a'r brenin; yna y dywedodd y brenin wrtho ef,
Pa ham nad aethost ti gyd a mi Mephiboseth?
26 Ac efe a ddywedodd, Fy arglwydd frenin,
fyng-was a'm twyllodd; canys dywedodd dy
was, Cyfrwyaf i mi assyn fel y marchogwyf arni
hi, ac yr elwyf at y brenin, o herwydd cloff [yw]
dy was.
27 Ac efe a athrododd rhwng dy was a'm har-

*Pen 16, 3 Sal. 15,3 glwydd frenin; ond*fy arglwydd frenin [sydd] fel
angel Duw, am hynny gwna yr hyn [fyddo] da
yn dy olwg.
dGen.32, 10 28 [d] Canys nid oedd holl dŷ fy nhad i ond
Luc17,10 dynion meirw ger bron fy arglwydd y brenin,
Pen9,7,8 etto tydi a osodaist dy was ym mhlith y rhai
oeddynt yn bwytta ar dy fwrdd dy hun; pa gyf-
iawnder gan hynny sydd i mi bellach fel y gwaed-
ddwn mwy ar y brenin?
e Deut. 19,19 29 [e] A'r brenin a ddywedodd wrtho ef, I ba
Sal.101,5 beth yr adroddi dy fatterion ym mhellach? dy-
Diar. 29, 4 wedais, Ti, a Ziba rhennwch y tîr.
Sal. 82,2 30 A Mephiboseth a ddywedodd wrth y bre-
nin, Ië cymmered efe y cwbl: gan ddyfod fy ar-
glwydd frenin iw dŷ mewn heddwch.
fPen. 17, 27 31 [f] Yna Barzelai y Gileadiad a ddaeth i wa-
red o Rogelim: ac a aeth tros yr Iorddonen gyd
a'r brenin, iw hebrwng ef tros yr Iorddonen.
32 A Barzelai [oedd] hên iawn, yn fab ped-
war ugain mlwydd: ac efe oedd yn arlwyo i'r
brenin tra'r ydoedd efe ym Mahanaim, canys
gŵr mawr iawn [oedd] efe.
33 A'r brenin a ddywedodd wrth Barzelai:
Tyret ti trosodd gyd a mi, a mi a'th borthaf di
gyd a mi yn Ierusalem.
g1Cor. 7, 29 34 [g] Yna Barzelai a ddywedodd wrth y brenin,
Iob 14,14 Pa feint[yw] dyddiau blynyddoedd fy einioes i,
Iago 1,14 Sal. 39,5, fel yr elwni i fynu gyd a'r brenin i Ierusalem?
6 a 90, 4 hSal. 90, 10, 12 35 [h] Mab pedwar ugain mlwydd [ydwyfi]
Preg. 12, heddyw, a wn i ragoriaeth rhwng da a drwg? a
36, ddichon dy was di archwaethu yr hyn a fwytaf,
neu'r hyn a yfaf? a glywaf fi bellach lais cerddor-
ion, a cherddoresau? pa ham gan hynny y bydd
dy wâs mwyach yn faich ar fy arglwydd frenin?
36 Dy was a aiff ychydig tu hwnt i'r Ior-
ddonen gyd a'r brenin; a pha ham y tal y brenin
imi y taledigaeth ymma?
i 1 Bren. 2,7 37 [i] Gad attolwg i'th was ddychwelyd fel y
Ier 41,17 byddwyf marw yn fy ninas fy hun, [ac fel i'm
cleddir] ym meddrod fy nhad, a'm mam; ac we-
le Chimham dy was di, efe a aiff trosodd gyd
a'm harglwydd frenin, a gwna iddo yr hyn [fy-
ddo] da yn dy olwg.
38 Yna y dywedodd y brenin, Chimham a
aiff gyd a mi, ac mi a wnaf iddo ef yr hyn [fy-
ddo] da yn dy olwg di; A pheth bynnac a er-
fynniech di arnafi, mi ai gwnaf erot ti.
jGen. 29, 11 39 [j] Felly'r holl bobl a aethant tros yr Ior-
Pen. 14, 22 ddonen, y brenin hefyd a aeth trosodd; a'r brenin
a gussanodd Barzelai, ac ai bendithiodd ef, ac
efe a ddychwelodd iw fangre ei hun.
40 Yna y brenin a aeth trosodd i Gilgal, a
Chimham a aeth gyd ag ef; a holl bobl Iuda a
drosgludasant y brenin, a hanner pobl Israel hefyd.
kAdn.11 12, 14 41 [k] Ac wele holl wŷr Israel yn dyfod at y
brenin; a dywedasant wrth y brenin, Pa ham y
lledrattaodd ein brodyr ni gwŷr Iuda dy di, ac
y trosgludasant y brenin ai dylwyth tros yr Ior-
ddonen, a holl wŷr Dafydd gyd ag ef?
42 Ac attebodd holl wŷr Iuda yn erbyn gwŷr
Israel, canys agos [yw]'r brenin i ni; pa ham gan
hynny y digiasoch chwi am y peth hyn? a fwyt-
tawsom ni [ddim] o'r [eiddo] yr brenin? neu a
anrhegodd efe ni ag anrheg?
43 [l] Yna gwŷr Israel a attebasant wŷr Iuda, ac lMat. 21,
a ddywedasant, Dec rhan [sydd] i ni yn y bre- 9 a 27, 33
nin, hefyd gyd a Dafydd [yr ydwyfi] yn fwy na Barn. 12, 1, 2
thi, pa ham gan hynny y diystraist fi? oni ddy- Act. 15, 39
wedais i yn gyntaf am gyrchu adref fy mrenin?
ac ymadrodd gwŷr Iuda oedd galedach nac
ymadrodd gwŷr Israel.

## PEN. XX.

*Seba yn gwrthryfela yn erbyn Dafydd. 10 Ioab trwy frad yn lladd Amasa. 22 Dihenydd Seba.*

AC [m] yno y digwyddodd bod gŵr i'r fall ai
enw Seba mab Bichri, gwr o Iemini; ac mPen.19 41
efe a udcanodd mewn udcorn, ac a ddywedodd, a 12, 10
Nid oes i ni ran mewn Dafydd, nac etifeddiaeth Sal.34,19
i ni ym mab Isai, [eled] pawb iw babell, O Israel. Deut 13, 13
2 [n] Felly holl wŷr Israel a aethant i wared Pen. 19, 41, 42
oddi ar ol Dafydd ar ol Seba mab Bichri; ond 1Bren.12, 16
gwŷr Iuda a lynasant wrth eu brenin o'r Iordd- Act. 8,21
onen hyd Ierusalem. nIos. 11, 12
3 [o] Pan ddaeth Dafydd iw dŷ ei hun i Iern- Ioan 6,66, 68
salem, yna y brenin a gymmerth * y dec gor- oGen.40, 3
dderch-wraig y rhai a adawse efe i gadw yr tŷ, Gen. 6,4
ac ai rhoddes hwynt [mewn] carchar-dy, ac ai *Pen. 15 16a 16,22
porthodd hwynt, ond nid aeth efe i mewn attynt
hwy, eithr buant yn rhwym hyd ddydd eu
marwolaeth yn byw mewn gweddwdod.
4 [p] Yna y dywedodd y brenin wrth Amasa, pPen. 19 13
Dyfyn i mi wŷr Iuda [erbyn] y trydydd dydd; Sal 118,9
a saf dithe ymma. Ioan 15,5
Iago 1,4
5 Felly Amasa a aeth i ddyfyn Iuda: ond efe
a drigodd yn hwy na'r amser terfynedic yr hwn
a osodase efe iddo.
6 [q] Yna y dywedodd Dafydd wrth Abisai, qPen.18 2
Seba mab Bichri a'n dryga ni yn waeth nac a 11,11
Absalom: cymmer di weision dy arglwydd ac
erlid ar ei ol ef, rhac iddo gael y dinasoedd cae-
roc, a diange [o'n] golwg ni.
7 [r] A gwŷr Ioab, a'r Cerethiaid, y Pelethiaid r1Bren.1, 38
hefyd, a'r holl gedyrn a aethant ar ei ol ef: ac
aethant allan o Ierusalem,* i erlid ar ol Seba *Pen 8,1
mab Bichri.
8 [s] [Pan oeddynt] hwy wrth y maen mawr yr s Ios. 10, 27
hwn [sydd] yn Gibeon, yna Amasa a ddaeth oi
blaen hwynt: ac Ioab oedd wedi gwregysu ei
gochol ar ei ddillad, ac arni [yr oedd] gwregys
[a] chleddyf wedi ei gwplysu wrth ei lwynau ef
mewn gwain, pan ele efe [y cleddyf] a syrthie. t 1 Sam. 25, 6
9 [t] A dywedodd Ioab wrth Amasa, A wyt ti 1Cron. 2, 16
yn llawen fy mrawd? a llaw ddehau Ioab a ym- Ioan 7,3 Luc 22,
aflodd ym marf Amasa i'w gussanu ef. 47

10 ⁿ Ond ni ymochelodd Amasa rhag y cledd-
n Pen. 2, 23 yf yr hwn [oedd] yn llaw Ioab, canys ag ef y ta-
rawodd efe ef dan y bummed [ais,] ac a ollyng-
odd ei berfedd ef i'r llawr, ac nid ail darawodd ef,
felly efe a fu farw; yna Ioab, ac Abisai ei frawd
a ganlynodd ar ol Seba mab Bichri.
v Deut. 20, 5 11 ᵛ Ac un o weision Ioab oedd yn sefyll yn
ei ymyl ef; ac a ddywedodd, Pwy bynnac a'r a
ewyllysio [yn dda] i Ioab, a phwy bynnac a'r a
[ewyllysio yn dda] i Ddafydd [eled] ar ol Ioab.
12 Ac Amasa a ymdrabaeddase mewn gwaed
ynghanol y brifffordd: pan welodd y gŵr sefyll
o'r holl bobl, yna efe a symmudodd Amasa
oddi ar y brifffordd i'r maes, ac a daflodd ga-
dach arno ef, pan welodd efe bawb ar a oedd
yn dyfod atto ef yn sefyll.
13 Pan symmudwyd ef oddi ar y brifffordd:
yr holl wŷr a aethant ar ol Ioab i erlid ar ol
Seba mab Bichri.
w 2 Bren. 15, 29 14 ʷ Ac efe a drammwyodd drwy holl lwyth-
2Cron, 16, 4 au Israel i Abel, ac i Beth-maacha, ac i holl
Ios. 18, 25 [leoedd] Berim: ac hwy a ymgasclasant ac a
ddaethant ar ei ol ef.
x 2 Bren. 19, 32 15 ˣ Felly y daethant hwy, ac a warchauas-
Ier. 32, 24 a 33, 4 ant arno ef yn Abel Beth-maacha, ac a fwrias-
ant glawdd yn erbyn y ddinas [yr hon] a safodd
[ei phobl] ar y rhagfur: a'r holl bobl y rhai
[oeddynt] gyd ag Ioab oeddynt yn dinistrio,
gan gwympo y mûr.
y Preg 9, 9, 14, 18 16 ʸ Yna gwraig ddoeth o'r ddinas, a lefodd:
Clywch, clywch, dywedwch attolwg wrth Ioab,
Nessa hyd ymma fel yr ymddiddanwyf a thi.
17 Pan nessaodd efe atti hi, yna y wraig a
ddywedodd, Ai ti [yw] Ioab? dywedodd yntef
[le] myfi: a hi a ddywedodd wrtho ef, Gwran-
do eiriau dy law forwyn, dywedodd yntef, Yr
Deut. 0, 11 ydwyf yn gwrando.
Deut. 20, 0 18 ᶻ Yna hi a ddywedodd,* Fel hyn gynt y llef-
Ios. 9, 14 farent gan ddywedyd, ac y gofynnent [am
Adn. 19 heddwch] yn Abel, ac felly y cwplhaent.
Rhuf 13, 5 19 ᵃ Myfi [ydwyf un] o heddychol ffyddlon-
Gen. 18, 5 iaid Israel: ti ydwyt yn ceisio difetha dinas a
mam yn Israel, pa ham y difethi di etifeddiaeth
yr Arglwydd?
20 Ioab a attebodd: ac a ddywedodd, Na atto
Duw, na atto Duw i mi, na difetha na dinistrio.
Adn. 1 Ios 18, 25 21 ᵇ Nid felly [y mae] yr peth, eithr gŵr o fy-
nydd Ephraim (Seba mab Bichri [yw] ei enw ef)
a dderchafodd ei law yn erbyn y brenin Dafydd,
rhoddwch ef yn unic, ac mi a âf ymmaith oddi
wrth y ddinas: a dywedodd y wraig wrth Ioab,
Preg. 9, 3 Wele ei benn ef a fwrir attat ti dros y mûr.
Diar. 24, 1 a 25, 10 22 ᶜ Yna yr wraig oi doethineb ei hun a aeth
Num. 16, 35 at yr holl bobl, a hwynt a dorrasant ben Seba
Pen 15, 0 mab Bichri, ac ai taflasant at Ioab, yna efe a
1Bren. 12 udcanodd mewn udcorn, ac hwy a wascarasant
28 oddi wrth y ddinas, pob un iw pabellau: ac
Ioab a ddychwelodd i Ierusalem at y brenin.
23 Yna * Ioab [oedd] ar holl luoedd Israel: *Pen 8,
a Banaiah mab Iehoiada ar y Cerethiaid, ac ar 16
y Pelethiaid.
24 ᵈ Ac Adoram [oedd] ar y drêth: ac Iosa- d 1Bre. 4, 6
phat mab Ahilud yn gofiadur. 1Bren. 4, 3
25 ᵉ Seiah hefyd yn scrifennudd: a Zadoc, ac e Pen. 8, 17
Abiathar yn offeiriaid.
26 ᶠ Ira hefyd yr Iairiad oedd raglaw i Ddafydd. Num. 3, 32 f Barn 10, 4

## PEN. XXI.

*Newyn mawr yn Israel am bechod Saul, hyd oni chrogwyd pump oi hiliogaeth ef. 15 Pedair cadrhwng Dafydd a'r Philistiaid.*

A ᵍ BU newyn yn nyddiau Dafydd dair bly- g Lef. 26, 16
nedd ol ynol, yna Dafydd a ofynodd gyn- 1Bren. 17, 1
gor ger bron yr Arglwydd: a'r Arglwydd a a 18, 1, 2
ddywedodd, O herwydd Saul, ac o herwydd Num. 27, 21
[ei] dŷ gwaedlyd [y mae hyn,] o blegit lladd o 1Sam. 22, 16
honaw ef y Gibeoniaid. Ios. 7, 1, 2
2 Yna yr brenin a alwodd am y Gibeoniaid Dat. 6, 10
ac a ymddiddanodd a hwynt: (a'r Gibeoniaid
hynny nid [oeddent] o feibion Israel, onid * o *Ios. 9, 3
weddill yr Amoriaid, a meibion Israel a dyngas-
ent iddynt hwy, etto Saul a geisiodd eu lladd
hwynt oi ʰ serch i feibion Israel, ac Iuda.) h Gal. 4, 18
3 ⁱ A Dafydd a ddywedodd wrth y Gibeoniaid, Deut. 7,
Beth a wnaf i chwi? ac a pha beth y gwnaf iawn, 16
fel y bendithioch chwi etifeddiaeth yr Arglwydd. 1Sam. 14, 44
4 ʲ A'r Gibeoniaid a ddywedasant wrtho ef, i Ex. 2, 24 Ier. 29, 7
Ni fynnwn ni arian, nac aur gan Saul, na chan j Est. 9, 16
ei dŷ ef, ac ni fynnwn ni ladd neb yn Israel: ac
efe a ddywedodd, Yr hyn a ddywedoch chwi a
wnaf i chwi.
5 ᵏ Yna y dywedasant hwy wrth y brenin, Y k Diar. 3,
gŵr yr hwn a'n difethodd ni, ac a fwriadodd i'n 29 Mat. 7, 2
herbyn ni: [drwy'r hwn] ein dinistriwyd ni rhac Est. 9, 24
sefyll yn un o derfynau Israel,
6 ˡ Rhodder i ni saith o wŷr oi feibion ef, fel y l Est. 9, 10
crogom ni hwynt i'r Arglwydd yn Gibea Saul Deut. 21,
(O ddewisedic yr Arglwydd:) a dywedodd y 22
brenin, Myfi ai rhoddaf.
7 Ond y brenin a dosturiodd wrth Mephibo- *1Sam. 18,
seth fab Ionathan, fab Saul: o herwydd llŵ * yr 3 a 20, 8
Arglwydd yr hwn [oedd] rhyngddynt hwy [sef] a 24, 21
rhwng Dafydd, ac Ionathan mab Saul.
8 ᵐ A'r brenin a gymmerth ddau fab Rispha m Pen. 3,
merch Aia, y rhai a ymddug hi i Saul [sef] Ar- 7 Barn. 7,
moni a Mephiboseth: a phum mab [*chwaer] 22
Michol merch Saul y rhai a blantodd hi i Adri-
el fab Barzelai y Maholathiad.
9 ⁿ Ac efe ai rhoddes hwynt yn llaw y Gibe- n Pen. 6, 17
oniaid, ac hwynt ai crogasant hwy yn y myn- Diar 21, 3 Adn. 7, 14
ydd ger bron yr Arglwydd, a'r saith hyn a gyd Ruth 1, 17
gwympasant: a hwynt a roddwyd i farwolaeth 22
yn y dyddiau cyntaf [o'r] cynhaiaf, yn nechreu-
ad cynhaiaf yr haidd.
10 ᵒ Yna Rispha merch Aia a gymmerth sach- o Deut. 21, 23

liain, ac hi ai hestynnodd ef iddi ar y graig o
ddechreu y cynhaiaf nes diferru dwfr arnynt
hwy o'r nefoedd: ac ni adawodd hi i ehediaid y
nefoedd orphwys arnynt hwy y dydd, na bwyst-
fil y maes liw nos.
11 A mynegwyd i Ddafydd yr hyn a wnaethe
Rispha merch Aia gordderch-wraig Saul.
12 Yna yr aeth Dafydd, ac a ddug escyrn
Saul, ac escyrn Ionathan ei fab ef oddi wrth
berchennogion Iabes Gilead: y rhai ai lledrata-
*1Sam.31 sent hwy o heol Bethsan yr hon* y crogase y
10, 12 Philistiaid hwynt ynddi, y diwrnod y lladdodd
y Philistiaid Saul yn Gilboa.
13 Felly y dug efe i fynu oddi yno escyrn Saul,
ac escyrn Ionathan ei fab ef: a hwynt a gascl-
asant escyrn y rhai a grogasid.
pIos. 18, 14 ᵖ A hwynt a gladdasant escyrn Saul, ac
28 1Sam.9,1 Ionathan ei fab yng-wlad Beniamin yn Zela ym
Pen24,25 meddrod Cis ei dad, a hwy a wnaethant yr hyn
Ios. 7, 27 Zec. 6, 8 oll a orchymynnase yr brenin: a bu Duw yn
Est. 8, 10 Iona 1, 15 fodlon i'r wlad ar ol hyn.
15 A bu eilwaith ryfel rhwng y Philistiaid, ag
Israel: a Dafydd a aeth i wared ai weision gyd
ag ef, ac hwy a ymladdasant a'r Philistiaid, a de-
ffygiodd Dafydd.
16 ᑫ Yna Iesbibenob yr hwn [oedd] o feibion
qGen.6,4 1Sam. 17 rhyw gawr, (a phwys ei waiw-ffon ef yn drych-
5 § deu-ddeg ant sicl § o brês) ac efe oedd wedi ei wregysu [a
ddeg chleddyf] newydd, a feddyliodd ladd Dafydd.
pwys a hanner 17 ʳ Ond Abisai mab Serfia ai helpiodd ef, ac
1Sam 17, a darawodd y Philistiad, ac ai lladdodd ef: yna
5 rSal.46,1 gwŷr Dafydd a dyngasant wrtho ef gan ddyw-
Gen 22,14 1Bren.11 edyd, Nid ei di allan mwyach gyd a ni i ryfel,
36, a 15,4 Sal 132,17 rhac it ddiffoddi goleuni Israel.
sCron,21 18 ˢ Ac ar ol hyn fe fu eilwaith ryfel yn Gob
17 s1Cro 20, yn erbyn y Philistiaid: yna Sibbechai yr Husi-
4 1Cron.11 ad a laddodd Saph yr hwn [oedd] o feibion y cawr.
29 19 ᵗ A bu etto ryfel yn Gob yn erbyn y Phi-
t 1 Cron. 11, 26 listiaid: ac Elhanan mab * Iaere Oregim y Beth-
1Cro18,1 *1Sam.17 lehemiad a darawodd [frawd] Goliath y Geth-
10, 45, 56 iad, a phren ei waiw-ffon ef [oedd] fel carfan
Pen. 13,3 gwehydd.
20 A bu etto ryfel yn Gath: ac yr oedd gŵr
corphol, a chwech o fysedd ar bob llaw iddo,
a chwech o fysedd ar bob troed iddo, sef pedwar
ar hugain o rifedi, efe hefyd [oedd] fab i'r cawr.
21 Ac efe a amharchodd Israel: ac Ionathan
mab Simea brawd Dafydd ai lladdodd ef.
uIer.9,23 22 ᵘ Y pedwar hyn a aned i'r cawr o Gath: a
1 Cor. 1, 27 chwympasant drwy law Dafydd, a thrwy law
Rhuf. 8, 31, 37 ei weision ef.

## PEN. XXII.

*Dafydd yn canu mawl a diolch i'r Arglwydd.*

vEx 15,1 A ᵛ DAFYDD a lefarodd wrth yr Arglwydd
Sal. 31,19 eiriau y gân hon: yn y dydd y gwaredodd
Mar. 16,7 yr Arglwydd ef o law ei holl elynnion, ac o law
Saul.

2 * Ac ʷ efe a ddywedodd, Yr Arglwydd [yw]
fyng-hraig, a'm hamddeffynfa, a'm gwaredudd i. *Sal. 3,8 a 18,2
3 Duw [yw] fyng-hadernid, ynddo ef yr ym- Diar. 18, 10
ddyriedaf: fy nharian, a chorn fy iechydwriaeth, wGen.15 1
fy nerchafiad a'm noddfa, fy achubwr, rhac trais Mat. 1,18
i'm hachubaist fi.
4 Galwaf ar yr Arglwydd canmoladwy: felly
i'm cedwir rhac fyng-elynnion.
5 ˣ Canys gofidion angau a'm cylchynasant: xSal.18,5
afonydd y fall a'm dychrynnasant i.
6 ʸ Doluriau uffern a'm gogylchynasant i: mag- ySal.116, 3
lau angau a'm rhacflaenasant i. 1Sam. 18, 21
7 ᶻ Yn fyng-hyfyngdra y gelwais ar yr Ar- zAct.18,5
glwydd, ac y gwaeddais at fy Nuw: ac efe a Iona 2, 2
glybu fy llef oi deml, a'm gwaedd [a aeth] iw Sal. 18,6
glustiau ef.
8 ᵃ Yna y cynnyrfodd, ac y crynnodd y ddaiar, aBarn. 5, 20
seiliau y nefoedd a gyffroasant, ac a ymsiglas- Iob 26,11
ant am iddo ef ddigio. Sal. 18,7
9 ᵇ Derchafodd mwg oi ffroenau ef, a thân oi bHeb. 12 29
enau ef a yssodd: glô a enynnasant ganddo ef.
10 ᶜ Efe a ostyngodd y nefoedd, ac a ddescyn-
nodd: a thywyllwch [oedd] tan ei draed ef. cSal.144, 5
11 ᵈ Marchogodd efe hefyd ar y Cerub, ac a Esa64.1
ehedodd: ïe, efe a hedodd ar adenydd y gwynt. Sal. 18,9 dGen. 3, 24
12 ᵉ Efe a osododd y tywyllwch yn bebyll oi eSal.97,2
amgylch: [sef] cascliad y dyfroedd, [a] chwm-
wlau yr awyr.
13 ᶠ Gan y discleirdeb [yr hwn sydd] ger ei fSal.18,12
fron ef yr enynnodd y marwor tanllyd.
14 ᵍ Yr Arglwydd a daranodd o'r nefoedd: a'r gSal.29,3
Goruchaf a roddes ei lef.
15 Ac efe a anfonodd [ei] saethau, ac ai gwas-
carodd hwynt: [anfonodd efe] fellt, a drylliodd
hwynt.
16 ʰ Gwaelodion y môr a ymddangosasant, [a] hSal. 9
seiliau y byd a ddinoethwyd: gan gerydd yr Sal. 74
Arglwydd, [a] chan chwythad anadl ei ffroenau ef.
17 ⁱ Efe a anfonodd oddi uchod, cymmerodd
fi [a] thynnodd fi o ddyfroedd lawer. i Heb. 1, 14
18 Gwaredodd fi rhac fyng-elyn cadarn: a Sal. 18
rhac fyng-haseion, am eu bôd yn drêch na mi. Barn. 5 20
19 Achubasant fy mlaen yn nydd fyng-ofid Sal. 63,1
a'r Arglwydd oedd yn gynhaliad i mi.
20 ʲ Efe a'm dug i ehangder; efe a'm gwaredodd jSal. 31
i, canys ymhoffodd ynof.
21 ᵏ Yr Arglwydd a'm gwobrwya yn ol fyng-hy- kSal. 7, 4
fiawnder: yn ol glendid fy nwylo y tâl efe i mi. Eph.4,1
22 ˡ Canys mi a gedwais ffyrdd yr Arglwydd: ac lSal. 1
ni wneuthum yn ddrygionus yn erbyn fy Nuw. 3, 8, 18
23 ᵐ O herwydd ei holl farnedigaethau ef [ydynt] mSal.119
ger fy mron i: ac oddiwrth ei ddeddfau ni chiliais i. 120 Luc 1,6
24 ⁿ Bum hefyd berffaith tu ag atto ef: ac ym-
gedwais rhag fy anwiredd. n 2 Bren 20, 3
25 A'r Arglwydd a'm gobrwyodd inne yn ol Sal. 51
fyng-hyfiawnder: [ac] yn ol fyng-lendid o flaen Mat.1
ei lygaid ef.

26 s A'r trugarog y gwnei drugaredd: a'r gŵr
oMat.5,7 perffaith y gwnei berffeithrwydd.
pMat.5.8 27 p A'r glan y gwnei lendid: ac a'r cyndyn yr
1Sam.25, 17 ymgyndynni.
Ex. 5,2 qSal.12,5 28 q Canys ti a waredi y bobl gystuddiedic:
Sal.101,5 ac a ostyngi dy lygaid yn erbyn y rhai uchel.
29 r Canys ti [a oleui] fyng-hanwyll i O Arglw-
rSal.37,6 ydd: a'r Arglwydd a lewyrcha fy nhywyllwch.
30 s Oblegit ynot ti y rhedaf drwy fyddin: yn
sPhil. 4, 13 fy Nuw y llammaf dros fûr.
31 t Duw [sydd] berffaith ei ffordd: ymadrodd
tGen. 18, 19 yr Arglwydd sydd buredic, tarian [yw] efe i
Sal. 12,6 bawb a ymddiriedant ynddo ef.
Deut. 32 u Canys pwy [sydd] Dduw heb law yr Arg-
lwydd? a phwy [sydd] graig eithr ein Duw ni?
33 Duw a'm cadarnhaodd i a nerth: ac a
ryddhaodd fy ffordd i yn berffaith.
Pen1 23 34 v Efe sydd yn gosod fy nhraed fel [traed]
Deut.32, ewigod: ac efe a'm sefydlodd i ar fy uchelfaoedd.
Esa.33,16 35 Efe sydd yn dyscu fy nwylaw i ryfel: fel y
dryllid bŵa dûr [yn] fy mreichiau.
Sal. 84, 1 36 w Rhoddaist hefyd i mi darian dy iechydwr-
Eph.6,16 iaeth: ac a'th fwynder y lluosogaist fi.
37 Ehangaist fyng-herddediad tanaf: fel na
lithrodd fy sodlau.
38 Erlidiais fyng-elynion, a difethais hwynt:
ac ni ddychwelais nes eu difa hwynt.
Mal.4,3 39 x Difeais hwynt hefyd, a thrywenais hwynt fel
Mat.19,18 na chyfodant: a hwy a syrthiasant dan fy nhraed i.
40 Canys ti a'm gwregysaist i a nerth i ryfel: cw-
ympaist tanaf y rhai a ymgyfodent i'm herbyn.
Gen. 49 41 y Rhoddaist hefyd i mi warrau fyng-elyn-
ion: fel y difethwn fyng-haseion.
Sal. 18, 42 z Disgwyliasant ac nid [oedd] achubudd;
1Sam.28, [sef] am yr Arglwydd, ac nis attebodd hwynt.
Diar. 1, 43 a Yna y maluriais hwynt fel llwch y ddaiar:
melais hwynt fel tom yr heolydd, [a] thenais
Dan. 2, hwynt.
1.18 41 44 b Gwaredaist fi rhac cynhennau fy mhobl;
Sal. 2, 8 cedwaist fi yn ben [ar] genhedloedd, pobl nis
adnabum a'm gwasanaethant.
45 Meibion dieithr a gymmerant arnynt ym-
ddarostwng i mi: pan glywant, gwrandawant
arnafi.
Jeren20 46 c Meibion dieithr a ballant: ac a ddychryn-
ant oi carchardai.
47 Byw fyddo yr Arglwydd, a bendigedic
[fyddo] fyng-hraig: a derchafer Duw, craig fy
iechydwriaeth.
48 d Duw sydd yn rhoddi i mi allu i ymddial:
ac sydd yn darostwng pobloedd tanafi.
Sal. 18, 49 e Ac sydd yn fy nhywys i o blith fyng-elyn-
nion: ti hefyd a'm derchefaist oddi wrth y rhai
a gyfodent i'm herbyn, rhac y gŵr traws i'm
hachubaist i.
50 Am hynny y moliannaf di O Arglwydd
Rhu. 15 ym mhlith * y cenhedloedd: ac y canaf i'th enw,

51 f [Efe sydd] dŵr iechydwriaeth i'r brenin,
tŵr iechydwriaeth [ydiw efe] i'w frenin: ac yn fSal.2,2. Ier.30,9
gwneuthur trugaredd i'w eneiniog, i Ddafydd, Pen7,12
ac i'w hâd ef hyd yn dragywydd.

## PEN. XXIII.

*Geiriau diweddaf Dafydd. 8 Henwau, a chyflafan cedyrn Dafydd.*

DYMMA g eiriau diweddaf Dafydd: dyw- gGen.49,
edodd Dafydd mab Isai, a dywedodd y 1,33
gŵr yr hwn a osodwyd yn uchel, Eneiniog Duw Amos6,5
Iacob, a pheraidd yng-haniadau Israel.
2 h Yspryd yr Arglwydd a lefarodd ynofi: ai h2Pedr 1,1
ymadrodd ef [oedd] ar fy nhafod:
3 i Duw Israel a ddywedodd wrthifi, Craig Is- iIer.23,5, 6
rael a ddywedodd, [Byddi] lywodraethwr ar Esa.11,1, 2
ddynion yn gyfiawn yn llywodraethu [mewn] a 53,11
ofn Duw: Sal.72,8 Mica5,2
4 j Ac fel boreuol oleuni pan gyfodo haul fo- j2Pedr 1 19
reucwaith heb gwmylau, ac nid fel eginin yr Ioan 1,9 Sal.72,6
hwn a dyf o'r ddaiar drwy lewyrchiad, a glaw. a 110,3
5 k Canys nid felly y [bydd] fy nhŷ i gyd a kPen7,18
Duw: o herwydd cyfammod tragywyddol a os- Esa.9,6,7
ododd efe i mi, wedi ei luniaethu yn hollawl, ac Mat. 16, 18
yn gadwedig, canys fy holl iechydwriaeth, a'm § y Messia etto
holl ddymuniad [yw] na § wnaiff efe [iddo [flag- wedi dyfod.
uro [felly.] Esa. 4, 2
6 l A'r rhai anwir fyddant oll fel drain symud- a 11,1 Rhuf.3,3
edic: canys mewn llaw nis cymmerir hwynt. lLuc19 14 a 19, 27
7 Ond y gŵr [yr hwn] a gyffwrdd a hwynt a
gynnorthwyir a haiarn, ac a phaladr gwaiffon:
ac a thân y lloscir hwynt yn [eu] trig-le.
8 m Dymma enwau y cedyrn y rhai [oeddynt] m Ioel 2, 11
gan Ddafydd: yr hwn a eistedde yng-hader 1Cro 4.11
doethineb, yn bennaeth y tywysogion oedd Adi- a 27,3
no yr Esinad, [efe a ruthrodd] yn erbyn wyth-
gant o rhai archolledig ar unwaith.
9 Ac ar ei ol ef [yr oedd] Eleazar mab Dodo,
fab Ahohi, ym mhlith y tri cedyrn gyd a Daf-
ydd, pan ddifenwasant hwy y Philistiaid [y
rhai] a ymgynnullasant yno i ryfel, pan aeth
gwŷr Israel i fynu.
10 Efe a gyfododd, ac a darawodd ar y Phil-
istiaid nes deffygio ei law ef, a glynu oi law ef
wrth y cleddyf, a'r Arglwydd a wnaeth iechyd-
wriaeth mawr y diwrnod hwnnw: a'r bobl a
ddychwelasant ar ei ol ef yn unic i anrheithio.
11 Ac ar ei ôl ef [yr oedd] * Samma mab Age * 1Cron.
yr Harariad: a'r Philistiaid a ymgynnullasant 11,12
yn dorf, ac yr oedd yno rann o'r maes yn llawn Barn. 12, 5, 18
o ffacbys, a'r bobl a ffoawdd o flaen y Philistiaid. 1Cron.11 27
12 Ond efe a safodd yng-hanol y rhandir, ac ai
hachubodd, ac efe a darawodd y Philistiaid:
felly y gwnaeth yr Arglwydd ymwared mawr. n 1 Sam. 22, 1
13 n A thri o'r dêg pennaeth ar hugain a ddes-
cynnasant, ac a ddaethant y cynhaiaf at Ddaf-
ydd i ogof Adulam: a thorf y Philistiaid oedd
yn gwersyllu yn nyffryn y cawri.

o 1 Sam. 22, 4, 5 14 ° A Dafydd [oedd] yna mewn amddeffynfa:
a sefyllfa y Philistiaid yna [ydoedd] yn Bethlehem.
15 Yna y blyssiodd Dafydd, ac y dywedodd,
Pwy a'm dioda i a dwfr o bydew Bethlehem, yr
hwn [sydd] yn y porth?
p 1 Sam. 25, 32, 33 16 ᵖ Yna yr tri chedyrn a ruthrasant i werssyll
Adn. 17 y Philistiaid, ac a dynnasant ddwfr o bydew
Bethlehem yr hwn [oedd] yn y porth, ac a gym-
merasant hefyd, ac a ddugasant at Ddafydd:
ond ni fynne efe ei yfed ef, eithr efe ai diod-off-
rymmodd ef i'r Arglwydd,
17 Ac a ddywedodd, Na atto yr Arglwydd i
mi*wneuthur hyn, a [yfwn i] waed y gwŷr a ae-
* 1Cron. 11, 19 thant mewn [enbydrwydd] am eu henioes: am
hynny ni fynne efe ei yfed; hyn a wnaeth y tri
chedyrn hynny.
q 1Cron. 11, 21 18 ᵠ Ac Abisai brawd Ioab, mab Serfia oedd
bennaf o'r tri, ac efe a escydwodd ei waiwffon
ar dry-chant [ac ai] lladdodd [hwynt;] ac iddo ef
[y bu] enw ym mhlith y tri.
19 Onid anrhydeddusach [oedd efe] na'r tri
hyn; a bu iddynt yn dywysog; etto ni chyrhedd-
odd efe y tri [cyntaf.]
r Ios. 15, 21 20 ʳ A Banaia mab Iehoiada, mab gŵr grym-
Luc24,13 mus o Cabzel, aml o weithredodd; efe a laddodd
ddau o gedyrn Moab, ac efe aeth i wared, ac a la-
ddodd ryw lew o fewn y pydew yn amser yr eira.
s1Cro.11, 23 21 ˢ Ac efe a darawodd Aipht-ddyn, gŵr gol-
1Sam.17, 51 ygus [o faint,] ac yn llaw yr Aiphtiad [yr oedd]
gwaiw-ffon, eithr efe a ddaeth i wared atto ef a
gwialen; ac a gippiodd y waiw-ffon o law yr
Aiphtiad, ac ai lladdodd ef, ai waiw-ffon ei hun.
22 Hyn a wnaeth Banaia mab Iehoiada; ac
iddo [y bu] enw ym mhlith y tri cedyrn.
t1Sam 22 14 23 ᵗ Anrhydeddusach [oedd] na'r dêc ar hug-
Pen 8 18 a 20, 23 ain, ond ni chyrheddodd efe y tri [cyntaf;] etto
Dafydd ai gosododd ef yn ei gyngor.
u Pen. 2, 18 a 3, 27 24 ᵘ Asahel brawd Ioab [oedd un] o'r dêc ar
1Bren. 2, 6 hugain; Elhanan mab Dodo y Bethlehemiad.
25 Samma 'r Harodiad, Elica yr Harodiad.
vPen.14, 2 26 ᵛ Helez y Paltiad, Ira mab Icces y Theociad.
27 ʷ Abieser yr Anatothiad, Mebunnai yr Hu-
wIer. 1,1 Ios.21,18 1Cro4,4 sathiad.
28 Salomon yr Ahobiad, Mahari y Netophathiad.
xBarn.19 20 29 ˣ * Heleb mab Baana y Netophathiad; Ithai
*1Cro.11 30 mab Ribai o Gibea meibion Beniamin.
yBarn 12 15 30 ʸ Benaia y Pirathoniad, * Hidai o afonydd
Gaas
* 2Cron. 11 32 31 * Abi-albon yr Arbathiad, Azmafeth * y
Barn.2,9 Barhumiad.
*1Cro.11 33, 33 32 Elihaba y Saalboniad, o feibion Iasen
Ionathan.
33 Samma yr Harariad, Ahiam mab Sarar yr
Arariad.
zPen. 15, 12 34 ᶻ Eliphelet mab Ahasbai, mab Maachathi;
Eliam mab Ahitophel y Giloniad.
35 Hesrai y Carmeliad, Paarai, yr Arbiad.
36 Igal mab Nathan o Zobah, Bani y Gadiad.
37 ᵃ Selec yr Ammoniad; Nahari y Beeroth- aPen9,2
iad yn dwyn arfau Ioab mab Serfia.
38 ᵇ Ira yr Ithriad, Gareb yr Ithriad. bPen 20, 26
39 ᶜ Urias yr Hethiad: dau ar bymthec, ar hu- 1Cron.11 28
nain oll. cPen.12, 9

## PEN. XXIV.

*Gorfod i Ddafydd am rifo y bobl ddewis un o dri dial. 14 Deng-mil a thrugain yn meirw o'r bobl am eu rhifo hwynt.*

YNA ᵈ digllonedd yr Arglwydd a enynnodd dPen 21, 1
yn erbyn Israel, pan annogodd [Satan] *1Cro 21 1
Ddafydd yn eu herbyn hwynt, gan ddywedyd, 1 Bre 22, 22
Dos, cyfrif Israel, ac Iuda.
2 ᵉ Canys y brenin a ddywedodd wrth Ioab Pen 16,10 Gen.45,5
tywysog y llu yr hon [oedd] ganddo ef, Cylch- Act. 4,28
yna yn awr holl lwythau Israel o Dan hyd Beer- eIos 9,14 Heb 2,4
seba, a chyfrif y bobl, fel y gwypwyf rifedi y bobl. Deut. 8, 13
3 Ac Ioab a ddywedodd wrth y brenin, Yr
Arglwydd dy Dduw a chwanego yr bobl yn
gant cymmeint ac y maent, fel y gwelo llygaid
fy arglwydd frenin, ond pa ham yr ewyllysia fy
arglwydd frenin y peth hyn?
4 ᶠ A gair y brenin fu drech nac Ioab, ac na fAct5,29
thywysogion y llu: Ioab am hynny a aeth allan, Ex. 1, 17
a thywysogion y llu o ŵydd y brenin i gyfrif
pobl Israel.
5 ᵍ Ac hwy a aethant tros yr Iorddonen, ac a gDeut.2 36
werssyllasant yn Aroer, o'r tu dehau i'r ddinas Ios 13,16
'r hon [sydd] yng-hanol dyffryn Gad, hyd Iazer. Num.32, 1,3
6 ʰ Yna y daethant hwy i Gilead, ac i wlâd h Ios.19, 47
Tachtim Hodsi, daethant hefyd i Dan Iaan, ac Barn.18, 29
o amgylch i Sidon. Ios.19,28
7 Daethant hefyd i amddeffynfa Tyrus, ac i
holl ddinasoedd yr Hefiaid, a'r Canaaneaid, ac
hwy a aethant tua thu dehau Iuda i Beerseba.
8 Felly y cylchynasant hwy yr holl wlâd, ac
a ddaethant ym mhen naw mis, ac ugain nhiwr-
nod i Ierusalem.
9 Yna y rhoddes Ioab nifer cyfrif y bobl at y
brenin, ac Israel ydoedd wyth gant mil o wŷr
grymmus yn tynnu cleddyf, a gwŷr Iuda [oedd-
ynt] bump cant mil o wŷr.
10 ⁱ Yna calon Dafydd ai tarawodd ef, ar ol i 1 Cron. 21, 9, 17
iddo gyfrif y bobl; a dywedodd Dafydd wrth 1Sam.24, 5, 6
yr Arglwydd, Pechais yn ddirfawr [yn] yr hyn Sal. 51, titl
a wneuthum, ac yn awr delea attolwg O Ar- Gen 25, 34
glwydd anwiredd dy wâs, canys ynfyd iawn y Diar. 28, 13
gwneuthum. 1Ioan 1,9
11 ʲ A Dafydd a gyfododd yn foreu; a daeth Mica7,8 Pen. 12
gair yr Arglwydd at Gad y prophwyd, gwele- 12 j1Sam.22
dudd Dafydd gan ddywedyd, 4
12 Dos, a dywet wrth Ddafydd, Fel hyn y * 1 Cron. 21, 12
dywedodd yr Arglwydd, Yr ydwyf fi yn gosod tri
pheth o'th flaen di; dewis it un o honynt, a gwnaf
[hynny] i ti.

PEN. XXIII. Adn. 34.] Yr oedd mab Ahitophel mor enwog filwr ag oedd ei dad o gynghorwr. Y mae enw Urias yn dangos fod gwrthryfel Absalom &c. heb fod pan ysgrifenwyd y benod hon.

13 Felly Gad a ddaeth at Ddafydd, ac a fy-
negodd iddo, ac a ddywedodd wrtho, Pa [un a
fynni] ddyfod it, ai saith mlynedd o newyn yn
dy wlad, ai it ffoi dri mis o flaen dy orthrymwŷr,
ac efe yn dy erlid ti, ai yntef bod haint yn y wlad
dri diwrnod? ac yn awr gwybydd, ac edrych pa
kHeb.12, 5, 8 beth a attebaf i'r hwn a'm hanfonodd i.
Sal. 103, 13, 14 14 [k]A dywedodd Dafydd wrth Gad, Y mae yn
Esa. 27,8 11 gyfyng iawn arnafi, gâd i mi syrthio yn awr yn
Diar. 12, 10 llaw yr Arglwydd, (canys aml yw ei drugaredd-
Zec. 1, 5 au ef) fel na chwympwyf yn llaw dŷn.
lEsa. 57, 36 15 [l]Yna y rhoddes yr Arglwydd haint yn
Israel o'r boreu hyd yr amser nodedic: a bu
farw o'r bobl o Ddan hyd Beerseba ddeng mil
a thrugain o wŷr.
mSal. 78, 38 16 [m]A'r angel a estynnase ei law [at] Ierusalem
Hab. 3, 2 iw dinistrio hi, ond * edifarhaodd ar yr Ar-
*1Cro. 21 15, 18, 22 glwydd y drwg hwn, ac a ddywedodd wrth yr
angel yr hwn oedd yn dinistrio yr bobl, Digon
†Ornan. Barn. 2, 21 bellach, llaesa dy law: ac angel yr Arglwydd
a19, 10, 12 [oedd] wrth lawr dyrnu † Arafna y Iebusiad.
n1Cro. 21 16 17 [n]Yna y llefarodd Dafydd wrth yr Ar-
glwydd pan ganfu efe yr angel yr hwn a daraw-
se y bobl, a dywedodd, Wele mi a bechais, ac
a wnaethum yn ddrygionus, ond beth a wnaeth
y defaid hyn? bydded attolwg dy law arnafi, ac
ar dŷ fy nhâd i.
oGen. 22 14 18 [o]A Gad a ddaeth at Ddafydd y dwthwn
2Cron. 20 12 hwnnw: ac a ddywedodd wrtho ef, Dos i fynu,
Sal. 46, 1 cyfot allor i'r Arglwydd yn llawr dyrnu Ara-
fna y Iebusiad.
19 [p]Felly Dafydd a aeth i fynu yn ol gair p1Cron. 21, 18
Gad, fel y gorchymynnase yr Arglwydd.
20 Ac Arafna a edrychodd, ac a ganfu y bren-
in ai weision yn dyfod tu ag atto ef: ac Arafna
a aeth allan, ac a ostyngodd ei wyneb ei lawr
ger bron y brenin.
21 [q]Ac Arafna a ddywedodd, Pa ham y qNum. 16 48
daeth fy arglwydd frenin at ei wâs? yna y dy-
wedodd Dafydd, I brynu gennit ti y llawr dyr-
nu i adailadu allor i'r Arglwydd, fel yr attalier
y pla hwn oddi wrth y bobl.
22 [r]Yna y dywedodd Arafna wrth Ddafydd, rDeut 25 4
Cymmered, ac offrymmed fy arglwydd frenin yr Iago 5, 16
hyn fyddo da yn ei olwg: wele yr ychen yn Rhuf. 15, 30
boeth offrwm, a'r ffustiau, ac offer yr ychen yn 1Tim. 2, 1 2
lle cynnyd.
23 [s]Hyn oll a roddase y brenin Arafna i'r sSal 20, 3 1Cron. 21
brenhin, a dywedodd Arafna hefyd wrth y bren- 16
in, Yr Arglwydd dy Dduw a fyddo bodlon i ti.
24 [t]Yna y dywedodd y brenin wrth Arafna, t1 Cron.
Nid [felly] eithr gan brynnu y prynnaf [ef] 21, 29
mewn pris gennit, ac nid offrymmaf i'r Arglw-
ydd fy Nuw boeth-offrymmau rhad: felly Daf-
ydd a brynnodd y llawr-dyrnu, a'r ychen er
dec a deugain o siclau arian.
25 [u]Ac yno 'r adailadodd Dafydd allor i'r Ar- uLef. 9, 24
glwydd, ac a offrymmodd boeth offrymmau ac Barn. 6,
offrymmau hedd: a'r Arglwydd a gymmododd 21
a'r wlâd, a'r plâ a attaliwyd oddi wrth Israel. Pen. 21, 14

---

# Y LLYFR CYNTAF O'R

# BRENHINOEDD.

## PEN. I.

*Abisag yn cynhesu Dafydd. 5 Adonia yn ei wneuthyd ei hun yn frenin. 29 Dafydd yn peri urddo Salomon yn frenin. 50 Ac Adonia yn gorfod iddo gymmeryd noddfa.*

a2Sam 5, 4 A'R [a] brenin Dafydd [oedd] hên, [ac] a
Sal. 90, 10 aethe mewn oedran, er iddynt ei anhuddo
ef mewn dillad etto ni chynhese efe.
2 [b]Yna ei weision a ddywedasant wrtho ef,
bGen. 20, 8 Ceisier i'm harglwydd frenin langces o forwyn,
Deut. 1, 38 a safed hi o flaen y brenin, a bydded yn gwneu-
a 10, 8 thur ymgeledd iddo ef: a gorwedded yn dy fon-
2Sam. 12, 3 wes fel y gwresogo fy arglwydd frenin.
Preg. 4, 11 3 [c]Felly y ceisiasant langces dêg drwy holl
cJos. 19, 18 fro Israel, ac a gawsant Abisag y Sunamites,
2Bren. 4, 8 ac ai dugasant hi at y brenin.
dGen. 4, 1 4 [d]A'r llangces [oedd] dêg iawn, ac yr ydoedd
2Sam. 3, 3, 4 a 15, 1 hi yn gwneuthur ymgeledd i'r brenin, ac hi ai
gwasanaethodd ef: ond ni bu i'r brenin a wna-
eth a hi.
5 [e]Ac Adonia mab Haggith a ymdderchaf- eLuc 14, 11
odd, gan ddywedyd, Myfi a fyddaf frenin: ac 1Cron 22
efe a ddarparodd iddo gerbydau a gwŷr meirch, 10
a deng-wr a deugain yn rhedeg oi flaen ef. 1Sam. 15, 4
6 [f]Ai dad nis cystuddiase ef yn ei ddyddiau Barn. 9, 2
gan ddywedyd, Pa ham y gwnaethost fel hyn? f2Sam 14
yntef hefyd [oedd] deg iawn o bryd, ac efe a 25
anesyd wedi Absalom.
7 [g]Ai gyfrinach ef oedd gyd ag Ioab fab Serfia, gSal. 2, 2
a chyd ag Abiathar yr offeiriad: a hwynt a gyn- Ezec. 38, 10
northwyasant Adonia. 2Tim. 4, 10
Pen. 2, 35
8 [h]Ond Zadoc yr offeiriad, a Benaiah mab hDeut 17,
Iehoiada, a Nathan y prophwyd, a Semei, a Rei, 14
a'r cedyrn y rhai [a fuasent] gyda Dafydd nid
[oeddynt] gyd ag Adonia. iDiar 15, 8
9 [i]Ac Adonia a aberthodd ddefaid, a gwar- Num. 23, 1

theg, a [chig] brâs wrth faen Zoheleth, yr hwn
[sydd] wrth ffynnon Rogel, ac a wahoddodd ei
holl frodyr meibion y brenin, a holl wŷr Iuda
gweision y brenin.
10 Ond Nathan y prophwyd, a Benaiah, a'r
cedyrn, a Salomon ei frawd ni wahoddodd efe.
j 1 Cron. 11 j Am hynny y dywedodd * Nathan wrth Ba-
22, 9 thseba mam Salomon gan ddywedyd: Oni chly-
Sal. 37, 3 waist ti fod Adonia mab Haggith yn teyrnasu?
* 2 Sam 3, 4 a'n harglwydd Dafydd heb wybod [hynny?]
k Diar. 17 12 k Tyret gan hynny yr awr attolwg, rhoddaf
2 Gen. 19, it gyngor fel yr achubech dy einioes dy hun, ac
17 Act. 28, 31 einioes Salomon dy fab.
l 2 Sam. 12 13 l Dos a cherdda at y brenin Dafydd, a dy-
24 Deut. 17, wet wrtho ef, Oni thyngaist ti fy arglwydd fren-
18 1 Cron. 29 in wrth dy wasanaeth-wraig, gan ddywedyd?
23 Salomon dy fab di a deyrnasa yn ddiau ar fy ol
i, ac efe a eistedd ar fyngorsedd-faingc i: pa ham
gan hynny y mae Adonia yn teyrnasu?
m Eph. 1, 6 14 m Wele tra fyddech yno etto yn llefaru
wrth y brenin, minne a ddeuaf ar dy ol di, ac a
gyflawnaf dy eiriau di.
15 Felly yr aeth Bathseba at y brenin i'r staf-
ell, a'r brenin oedd hên iawn, ac Abisag y Su-
namites oedd yn gwasanaethu y brenin.
16 A Bathseba a ostyngodd ei phen, ac a ym-
grymmodd i'r brenin: a'r brenin a ddywedodd,
Beth [ddarfu] i ti?
n Sal. 15, 4 17 n Hithe a ddywedodd wrtho ef, Fy arglw-
Ioan 20, ydd ti a dyngaist i'r Arglwydd dy Dduw wrth
17 2 Sam. 7, dy wasanaethyddes; Salomon dy fab a deyrnasa
13 1 Cron. 29 yn ddiau ar fy ol i, ac efe a eistedd ar fyng-
1 orsedd-faingc i.
18 Ac yn awr wele Adonia sydd frenin, ac yr
awr hon fy arglwydd frenin nis gwybuost di [hyn.]
19 Hefyd efe a aberthodd wartheg, ac [anif-
eiliaid] breision, a defaid yn lluosog, ac a wa-
hoddodd holl feibion y brenin, ac Abiathar yr
offeiriad, ac Ioab tywysog y filwriaeth: ond dy
wâs Salomon ni wahoddodd efe.
20 Tithe fy arglwydd frenin [y mae] llygaid
holl Israel arnat ti, am fynegu iddynt pwy a
eistedd ar orseddfaingc fy arglwydd y brenin
ar ei ol ef.
o Deut. 31 21 o Os amgen pan orweddo fy arglwydd fren-
16 Esa. 57, 2 in gyd a'i dadau, yna y byddaf fi a'm mab Salo-
Gen. 15, 15 mon yn bechaduriaid.
Can. 3, 11 Gen 43, 9 22 Ac wele tra yr oedd hi etto yn ymddiddan
Ios. 2, 16 a'r brenin, y daeth Nathan y prophwyd hefyd.
23 Felly y mynegasant i'r brenin gan ddywe-
dyd, Wele Nathan y prophwyd; ac efe a aeth
i mewn o flaen y brenin, ac efe a ymgrymmodd
i'r brenin ar ei wyneb hyd lawr.
24 Yna y dywedodd Nathan, Fy arglwydd fre-
nin a ddywedaist di, Adonia a deyrnasa ar fy ol
i ac efe a eistedd ar fyng-orsedd-faingc?
p Dat 3, 4 25 p Canys efe a aeth i wared heddyw, ac a ab-
erthodd ychen, ac [anifeiliaid] breision, a defaid
lawer, ac a wahoddodd holl feibion y brenin, a
thywysogion y filwriaeth, ac Abiathar yr off-
eiriad: ac wele hwynt yn bwytta ac yn yfed o'i
flaen ef, ac y maent yn dywedyd, Bydded byw
y brenin Adonia.
26 Ond myfi dy wâs a Zadoc yr offeiriad, a
Banaiah mab Iehoiada, a'th wâs Salomon ni
wahoddodd efe.
27 q Ai trwy fy arglwydd frenin y bu y peth hyn, q 2 Sam. 7, 2
heb ddangos o honot i'th wâs, pwy a eisteddai
ar orsedd-faingc fy arglwydd y brenin ar ei ol ef?
28 Y brenin Dafydd a attebodd, ac a ddywed-
odd, Gelwch Bathseba attafi: a hi a ddaeth o
flaen y brenin, ac a safodd ger bron y brenin.
29 r A'r brenin a dyngodd ac a ddywedodd, r Barn. 8,
[Fel] y mae'r Arglwydd yn fyw, yr hwn a war- 18 Pen. 17, 1
edodd fy enaid i o bob ing: 2 Sam. 12
30 Yn ddiau megis y tyngais wrthit ti i Argl- 5 Sal. 34, 19
wydd Dduw Israel, (gan ddywedyd, Salomon
dy fab a deyrnasa yn ddiau ar fy ol i, ac efe a
eistedd ar fyng-orseddfaingc i yn fy lle i) felly
y gwnaf y dydd hwn.
31 s Yna Bathseba a ostyngodd ei phen, [ai] s Neh. 1, 3 Dan. 6, 21
hwyneb i lawr, ac a ymgrymmodd i'r brenin, ac 2 Bren. 2,
a ddywedodd, Bydded fy arglwydd frenin Daf- 33
ydd fyw byth.
32 A'r brenin Dafydd a ddywedodd, Gelwch
attafi am Zadoc yr offeiriad, ac am Nathan y
prophwyd, ac am Banaiah fab Iehoiada: a
hwynt a ddaethant o flaen y brenin.
33 t Yna y brenin a ddywedodd wrthynt, Cym- t Gen. 41,
merwch weision eich arglwydd gyd a chwi, a 43 Est. 6, 8
pherwch i Salomon fy mab farchogaeth ar fy 2 Cron. 35, 30
mules fy hun, ac ewch ag ef i wared i Gihon.
34 u Ac eneinied Zadoc yr offeiriad, a Nathan y u Sal. 45, 7
prophwyd ef yno yn frenin ar Israel: yna ud- Sal. 89, 1
cenwch mewn udcorn, a dywedwch, Bydded 2 Bren. 9, 13
byw y brenin Salomon. Sal. 72, 17
35 v Deuwch chwithau i fynu ar ei ol ef, a deu- v Sal. 2, 7
ed efe i fynu, ac eistedded ar fy ngorseddfa i, a 2 Sam. 19 41
theyrnased efe yn fy lle i, canys efe a ordeiniais Pen 12, 9
i fod yn flaenor ar Israel, ac ar Iuda.
36 w A Banaiah mab Iehoiada a attebodd y bre- w Mat. 6,
nin, ac a ddywedodd, Amen, yr un modd y dy- 15 Gen. 1,
wedo'r Arglwydd, Duw fy arglwydd frenin. Sal. 33,
37 x Megis y bu 'r Arglwydd gyd a'm hargl- x Sal. 72 Dan. 7,
wydd y brenin, felly bydded gyd a Salomon; a 2 Bre.
gwnaed yn fwy ei orsedd-faingc ef, na gorsedd-
faingc fy arglwydd y brenin Dafydd.
38 Felly yr aeth Zadoc yr offeiriad i wared, a
Nathan y prophwyd, a Banaiah mab Iehoiada,
a'r Cerethiaid, a'r Pelethiaid, ac a wnaethant i
Salomon farchogaeth ar fules y brenin Dafydd, y Sal. 89,
ac a aethant ag ef i Gihon. 20 Ex. 30, 23
39 y A Zadoc yr offeiriad a gymmerodd gorn 1 Cron. 29
yr olew o'r babell, ac a eneiniodd Salomon; yna 22 Can. 3, 11

yr udcanasant mewn udcorn, a'r holl bobl a
ddywedasant, Bydded byw y brenin Salomon.
sSal.97,1 40 [z] A'r holl bobl a aethant i fynu ar ei ol ef
Dat. 11, 16, 17 yn pibyddio mewn pibellau, ac yn llawenychu
Dat. 11, 18 a llawenydd mawr fel y rhwyge'r ddaiar gan eu
llefain hwy.
Diar.14, 13 41 [a] A chlybu Adonia ai holl wahoddedigion
Act.21,31 y rhai [oeddynt] gyd ag ef, a hwynt a ddarfuase
iddynt fwytta; Ioab hefyd a glywodd lais yr ud-
corn, ac a ddywedodd, Pa ham [y mae] twrwf
y ddinas yn derfyscol?
Pen.22, 42 [b] Ac efe etto yn llefaru, yna wele daeth
Ier.12, 6 Ionathan mab Abiathar yr offeiriad; a dywed-
odd Adonia, Tyret i mewn canys gŵr grym-
Bren.25 mus [ydwyt] ti, a daioni a fynegi di.
Cron.20 43 Yna 'r attebodd Ionathan, ac y dywedodd
en.12,7 wrth Adonia, Yn ddiau y brenin Dafydd ein
harglwydd ni a osododd Salomon yn frenin.
44 A'r brenin a anfonodd gyd ag ef Zadoc yr
offeiriad, a Nathan y prophwyd, a Banaiah fab
Ieboiada, y Cerethiaid hefyd, a'r Pelethiaid, a
hwy a barasant iddo ef farchogeth ar fules
y brenin.
1 Cron. 45 [c] Zadoc hefyd yr offeiriad, a Nathan y pro-
Cron.5, phwyd ai heneiniasant ef yn frenin yn Gihon:
ac a aethant i fynu oddi yno yn llawen, a'r ddinas
a derfyscodd, dyna 'r twrwf yr hwn a glyws-
och chwi.
46 A Salomon a eisteddodd hefyd ar orsedd-
faingc y frenhiniaeth.
en.47, 47 [d] A gweision y brenin a ddaethant hefyd i
4, 26 fendithio y brenin Dafydd ein harglwydd ni gan
1.103,1 ddywedyd, Dy Dduw a wnelo enw Salomon
yn well na'th enw di, ac a wnelo yn fwy ei or-
sedd-faingc ef na'th orsedd-faingc di: a'r brenin
a ymgrymmodd ar y gwely.
48 Fel hyn hefyd y dywedodd y brenin, Ben-
digedic [fyddo] Arglwydd Dduw Israel, yr hwn
a roddodd heddyw un i eistedd ar fyng-orsedd-
faingc a'm llygaid yn gweled.
49 Yna yr holl wahoddedigion, y rhai [oeddynt]
gyd ag Adonia a ddychrynnasant, ac a gyfod-
asant, ac a aethant bob un iw daith.
1.38,2 50 [e] Ac Adonia oedd yn ofni rhac Salomon,
1,14 ac a gyfododd, ac a aeth, ac a ymaflodd yng-
ren.2, hyrn yr allor.
51 [f] A mynegwyd i Salomon gan ddywedyd,
am.14 Wele y mae Adonia yn ofni y brenin Salomon,
27, ac efe a ymaflodd yng-hyrn yr allor gan ddyw-
.29 15 at. 1, edyd, Tynged y brenin Salomon i mi heddyw,
na ladd efe ei wâs a'r cleddyf.
52 Yna y dywedodd Salomon, Os bydd efe
yn fab rhinweddol, ni syrth [un] oi wallt ef i
iar.24 lawr: ond os ceir drygioni ynddo ef yna y bydd
a5,14 efe marw.
or.7, 53 [g] A'r brenin Salomon a anfonodd, a hwy-
m7,13 nt ai descynnasant ef oddi ar yr allor, ac efe a
ddaeth ac a ymgrymmodd i'r brenin Salomon:
a dywedodd Salomon wrtho ef, Dos i'th dŷ.

## PEN. II.

*Dafydd yn cynghori Salomon i ofni 'r Arglwydd. 5 Ac yn dangos beth a wnae efe i Ioab. Barzelai. a Semei. 10 Ac yn marw. 13 B aiAdonia ai farwolaeth. 35 Zadoc yn cael lle Abiathar.*

YNA [h] dyddiau Dafydd a nessauasant i fa- hGen.46,
rw, ac efe a orchymynnodd i Salomon ei Dent 33, 1
fab gan ddywedyd,
2 [i] Myfi ydwyf yn myned ar hŷd ffordd yr i Heb. 9,
holl fyd, am hynny ymnertha a bydd yn ŵr. 27
3 [j] A chadw gadwriaeth yr Arglwydd dy Ios.23,14 *Ios. 1,7
Dduw gan rodio yn ei ffyrdd ef, gan gadw ei Deut.27, 9
ddeddfau ef, ai orchymynnion, ai farnedigaethau, jDeut 17
ai destiolaethau, fel yr scrifennwyd yng-hyfraith 18
Moses, megis * y ffynno gennit yr hyn oll a wn- *2Sam.7,
elech, a'r hyn oll y troech atto. 13 2Tim.4.5
4 [k] Fel cyflawno 'r Arglwydd ei air, yr hwn a kLuc 1,6
lefarodd efe wrthit gan ddywedyd, Os dy feib- Col. 2,10
ion a gadwant eu ffyrdd, gan rodio ger fy mron Dent.6,5 2 Sam. 7,
mewn gwirionedd, ai holl galon, ac ai holl en- 11
aid ([ïe] gan ddywedyd) * Ni thorir na [byddo] *2Sam.3,
o honot ŵr ar orsedd-faingc Israel. 27
5 Tithe hefyd a wyddost yr hyn a wnaeth Io- a 19, 5, 6
ab mab Serfia a mi, [sef] yr hyn a wnaeth efe i 2Sam. 5, 27
ddau o dywysogion lluoedd Israel, i Abner fab
Ner, ac i Amasa fab Iether, canys efe ai lla-
ddodd hwynt, ac a ollyngodd waed yn rhyfel-
gar mewn heddwch, ac a roddodd waed rhyfel
ar ei wregys yr hwn [oedd] am ei lwynau, ac yn
ei escidiau y rhai [oeddynt] am ei draed.
6 [l] Am hynny gwna yn ol dy ddoethineb, ac lDiar.20, 26
na âd iw ben-llwydni ef ddescyn i'r bedd mewn Preg. 8,
heddwch. 11, 13
7 [m] Ond i feibion * Barzelai y Gileadiad y gw- m2Sam. 17, 27
nei di drugaredd, a byddant ym mysc y rhai a *2Sam.9,
fwyttânt [ar] dy fwrdd di: canys felly y daeth- 10 Luc22,30
ant attafi pan oeddwn yn ffoi rhac Absalom dy
frawd ti.
8 Wele hefyd * Semei fab Gera, fab Iemini, o
Bahurim gyd a thi, ac efe a'm melldithiodd i a *2Sam.16
melldith dôst y dydd yr euthum i Mahanaim: 5 a 19, 19 23
ond efe a ddaeth i wared hyd yr Iorddonen i gyf-
arfod a mi, ac mi a dyngais i'r Arglwydd wrtho
ef gan ddywedyd, Ni 'th laddaf a'r cleddyf.
9 [n] Ond yn awr na âd ti ef heb gosp, canys nEx.20,7
gŵr doeth [ydwyt] ti, a gwyddost beth a wnei Iob 9, 28
iddo: dŵg dithe ei ben-wynni ef i wared i'r
bedd mewn gwaed.
10 [o] Yna * Dafydd a hunodd gyd ai dadau, ac o Pen. 1, 21
a gladdwyd yn ninas Ddafydd. *Act.13, 22, 36.
11 [p] A'r dyddiau * y rhai y teyrnasodd Da- 2Sam 5,7
fydd ar Israel [oeddynt] ddeugain mlynedd: p1 Cron. 29, 26, 27
saith mlynedd y teyrnasodd efe yn Hebron, a *1Cron. 29, 23
thair blynedd ar ddec ar hugain y teyrnasodd
efe yn Ierusalem.

12 A Salomon * a eisteddodd ar orseddfaingc
Dafydd ei dâd, ai frenhiniaeth ef a sicrhauwyd
yn ddirfawr.

q 2Bren. 9, 17, 18 13 q Ac Adonia mab Haggith a ddaeth at
Bathseba mam Salomon: a hi a ddywedodd, Ai
heddychlon dy ddyfodiad ti? yntef a ddywed-
odd, Heddychlon.

14 Ac efe a ddywedodd,[Y mae] gennif neges
attat ti: hithe a ddywedodd, Dywet.

r Dan. 2, 21 15 r Yntef a ddywedodd, Ti a wyddost mai
Pen 1. 5 eiddofi oedd y frenhiniaeth, a holl Israel a osod-
Diar 21, 30 asent eu hwynebau ar fyng-wneuthur i yn frenin,
eithr trodd y frenhiniaeth, ac a aeth i'm brawd:
s Sal. 12, 2 canys s trwy'r Arglwydd yr aeth hi iddo ef.
1 Cron. 22 9, 10 16 Ond yn awr dymunaf gennit un dymuniad,
na ommedd fi, hithe a ddywedodd wrtho ef,
Dywet.

17 Yntef a ddywedodd, Dywet attolwg wrth
y brenin Salomon (canys ni ommedd efe dy di)
am roddi o honaw ef Abisag y Sunamites yn
wraig i mi.

t Mat. 10, 16 18 t Yna y dywedodd Bathseba, Dâ: Mi a
Diar. 14, 15 ddywedaf drosot ti wrth y brenin.
u Ex. 20, 12 19 u Felly y daeth Bathseba at y brenin Salo-
Sal. 45, 9 mon, i ddywedyd wrtho ef tros Adonia, a'r
Mat. 21, 21 brenin a gododd iw chyfarfod hi, ac a ostyng-
odd iddi, ac a eisteddodd ar ei orsedd-faingc,
ac a osododd orsedd-faingc i fam y brenin, a
hi a eisteddodd ar ei ddeheulaw ef.

20 Yna hi a ddywedodd, Un ddymuniad
fechan yr ydwyf yn ei dymuno gennit, na om-
medd fi: a'r brenin a ddywedodd wrthi hi,Gofyn
fy mam, canys ni'th ommeddaf.

v Pen 1, 2 21 v Ac hi a ddywedodd, Rhodder Abisag y
2 Sam. 3, 7 Sunamites yn wraig i Adonia dy frawd ti.
w 2 Sam. 16, 21 22 w Yna'r attebodd y brenin Salomon, ac y
Pen 1, 7 dywedodd wrth ei fam, Pa ham y ceisi di Abi-
Sal. 2, 2 sag y Sunamites i Adonia? cais hefyd y frenhin-
iaeth iddo ef, (canys fy mrawd hŷn na mi yd-
yw efe) a chyd ag ef y mae Abiathar yr offeir-
iad, ac Ioab mab Serfia.

23 A'r brenin Salomon a dyngodd i'r Ar-
glwydd gan ddywedyd, Fel hyn y gwnelo Duw
i mi, ac fel hyn y chwanego efe, onid yn erbyn
ei einioes y llefarodd Adonia y peth hyn.

x 2 Bren. 10, 3 24 x Yn awr gan hynny [fel] mai byw'r Ar-
1 Cron. 23 20 glwydd yr hwn a'm sicrhaodd i, ac a wnaeth i
2 Sam. 7, 27 mi eistedd ar orsedd-faingc Dafydd fy nhâd, yr
Sal. 127, 1 hwn hefyd a wnaeth i mi dŷ megis y * dywed-
*2 Sam. 7, 12, 13 ase efe, heddyw yn ddiau y rhoddir Adonia i
Diar. 21, 30 farwolaeth.
y 2 Sam. 1, 15 25 y A'r brenin Salomon a anfonodd gyd a
z Ier. 1, 1 Banaiah mab Iehoiada, ac efe a ruthrodd arno
1 Sam. 12, 5 ef, fel y bu efe farw.
Pen 1, 53 26 z Ac wrth Abiathar yr offeiriad y dywed-
1 Sam. 22, 23 odd y brenin, Dos i Anathoth, i'th fro dy hun,
1 Sam. 2, 31 canys gŵr [yn heuddu] marwolaeth [ydwyt] ti:
ond ni laddaf mo honot y prŷd hyn, o herwydd
arwain o honot Arch yr Arglwydd Dduw o
flaen fy nhâd Dafydd, ac am dy gystuddio yn
yr hyn oll y cystuddiwyd fy nhâd.

27 a Felly y bwriodd Salomon Abiathar ym- a Mat. 13, 35
maith o fod yn offeiriad i'r Arglwydd, gan gyf- a 27, 5
lawni gair yr Arglwydd yr hwn a ddywedase Ioan 11, 38
efe am dŷ Eli yn Silo. a 19, 25

28 A'r chwedl a ddaeth at Ioab, canys * Ioab Act. 4, 20 Sal. 78, 6
a ŵyrase ar ol Adonia, er na ŵyrase efe ar ol *Pen 1, 7
Absalom; yna y ffôdd Ioab i babell yr Arglwydd, a 1, 50
ac yr ymaflodd yng-hyrn yr allor.

29 A mynegwyd i'r brenin Salomon, ffoi o
Ioab i babell yr Arglwydd, ac wele [y mae efe]
wrth yr allor, a Salomon a anfonodd Banaiah
fab Iehoiada gan ddywedyd, Dos,rhuthra arno ef.

30 Felly y daeth Banaiah i babell yr Arglwydd,
ac a ddywedodd wrtho efe, Fel hyn y dywed-
odd y brenin, Tyret allan: yntef a ddywedodd,
Na [ddeuaf,] eithr yma y byddaf farw: a Ba-
naiah a ddug trachefn air at y brenin gan ddy-
wedyd, Fel hyn y dywedodd Ioab, ac fel hynn
i'm hattebodd.

31 b Yna y dywedodd y brenin wrtho ef, Gwna b Ex. 21, 14
fel y dywedodd efe, a rhuthra arno ef, a chladd 2 Bren. 6, 31
ef, fel y tynnech y gwaed gwirion yr hwn a dy- Num. 35, 33
walltodd Ioab oddi arnafi,ac oddi ar dŷ fy nhâd i.

32 c A'r Arglwydd a ddychwel ei waed ef ar ei
ben ei hun: o herwydd efe a ruthrodd ar ddau c Barn. 9, 57
ŵr cyfiawnach, a gwell nag ef ei hun,(ac ai lladd- Gen. 4, 8 a 9, 6
odd hwynt a'r cleddyf, a Dafydd fy nhâd heb 2 Sam. 3
ŵybod) sef Abner fab Ner tywysog llu Israel, Act. 4
ac Amasa fab Iether tywysog llu Iuda.

33 d Ai gwaed hwynt a ddychwel ar ben Ioab, d Ex.
ac ar ben ei hâd ef yn dragywydd, ond i Dda- a 11
fydd, ac iw hâd, ac iw dŷ, ac iw orsedd-faingc Phil.
y bydd heddwch yn dragywydd gan yr Ar- Act.
glwydd. Diar.

34 e Felly'r aeth Banaiah mab Iehoiada, ac a e Mat.
ruthrodd arno, ac ai lladdodd, ac efe a gladd- Num. 11, 13
wyd yn ei dŷ ei hûn yn yr anialwch. 1 Cron. 6

35 Yna y rhoddes y brenin Banaiah fab Iehoi- 1 Sam. 1
ada yn ei le ef ar y filwriaeth: a'r brenin a rodd- 35
odd Zadoc yr offeiriad yn lle Abiathar.

36 f Y brenin hefyd a anfonodd, ac a alwodd f Diar. 8
am Simei, ac a ddywedodd wrtho ef: Adeilada
it dŷ yn Ierusalem, ac aros yno, ac na ddôs all-
an oddi yno ymma na thraw.

37 g A bydded y dydd yr elech allan,ac yr elech g 2 Sam. 15, 23
dros afon Cedron, gan wybod y cei di wybod y Lef.
lleddir di yn farw; dy waed fydd ar dy ben dy Mat. 25
hun. Ios. 2, 1

38 h A dywedodd Simei wrth y brenin, Da h 2 Bren. 20, 19
yw 'r gair, fel y dywedodd fy arglwydd frenin
felly y gwnâ dy wâs: a Simei a arhosodd yn i 1 Sam.
Ierusalem ddyddiau lawer. 10

39 i Eithr ym mhen tair blynedd y ffodd dau 1 Sam.

wâs i Simei at Achis fab Maacha brenin Gath,
a mynegwyd i Simei gan ddywedyd, Wele dy
weision di yn Gath.
j1Tim.6, 10 40 j Yna y cyfododd Simei, ac a gyfrwyodd
Diar.15, 27 ei assyn, ac a aeth i Gath at Achis i geisio ei
Luc12,15 weision: ïe, Simei a aeth, ac a gyrchodd ei
weision o Gath.
41 A mynegwyd i Salomon fyned o Simei o
Ierusalem i Gath, ai ddychwelyd ef.
kSal.15, 4 42 k Yna'r anfonodd y brenin, ac a alwodd
am Simei, ac a ddywedodd wrtho ef, Oni thyng-
ais i'r Arglwydd, ac [oni] thestiolaethais wrth-
it gan ddywedyd: Yn y dydd yr elech allan, ac
yr elech nac ymma, nac accw, gan wybod
gwybydd y lleddir di yn farw? a thi a ddywed-
aist wrthif, Da yw'r gair a glywais i.
Preg.8, 43 l Pa ham gan hynny na chedwaist lŵ yr
Zec.17, 9 Arglwydd, na'r gorchymyn yr hwn a orchym-
ynnais i ti?
mIoan8, 44 m A dywedodd y brenin wrth Simei, Ti a
Thuf.2, 5 wyddost yr holl ddrygioni yr hwn a edwyn dy
Sam.16 galon, yr hwn a wnaethost di yn erbyn Dafydd
Mar.5, 8 fy nhâd: yr Arglwydd am hynny a ddychwel-
odd dy ddrygioni di ar dy ben dy hun.
Num. 5,11 45 n A bendigedic [fydd] y brenin Salomon, a
Sal.106, gorsedd-faingc Dafydd a fydd siccr o flaen yr
Arglwydd yn dragywydd.
Diar15 46 o Felly y gorchymynnodd y brenin i Ba-
Cron.1, naiah fab Iehoiada, ac efe a aeth allan, ac a
ruthrodd arno ef, fel y bu efe farw: a'r frenhin-
iaeth a siccrhauwyd yn llaw Salomon.

## PEN. III.

*Salomon yn priodi merch Pharao. 4 Yn aberthu yn Gibeon, lle y cafodd efe ei ddewis rodd, ac efe a ddewisodd ddoethineb. 17 Barn Salomon rhwng y ddwy buttain.*

Pen.7, A p SALOMON a * ymgyfathrachodd a
2,9 Pharao brenin yr Aipht, ac a briododd
2,10 7,10 ferch Pharao, ac ai dûg hi i ddinas Dafydd,
1,15 nes darfod iddo adailadu ei dŷ ei hun, a thŷ yr
Arglwydd, a mûr Ierusalem oddi amgylch.
Pen22, 2 q Etto y bobl oeddynt yn aberthu mewn
ent.12, uchelfaoedd, o herwydd nad adailadasyd tŷ i
enw'r Arglwydd hyd y dyddiau hynny.
Cor.5, 3 r A Salomon a garodd yr Arglwydd, gan
2,3 rodio yn neddfau Dafydd ei dad: etto mewn
uchelfaoedd yr oedd efe yn aberthu, ac yn ar-
ogl-darthu.
Cron. 1,39 4 s A'r brenin a aeth i Gibeon i aberthu yno,
canys honno oedd uchelfa fawr, mil o boeth
offrymmau a offrymmodd Salomon ar yr allor
honno.
Gen.28, 1 5 t Yn Gibeon yr ymddangosodd yr Arglwydd
Cron.1, i Salomon mewn breuddwyd nos, ac y dywed-
Mat.7,7 Bren. odd Duw, Gofyn beth a roddaf it i.
3 48,1 6 u Yna y dywedoddSalomon, Ti a wnaethost
Sal.15,2 a'th was Dafydd fy nhâd fawr drugaredd, me-
2 Sam.7 gis y rhodiodd efe o'th flaen di mewn gwrion-
edd; ac mewn cyfiawnder, ac mewn iniondeb
calon gyd a thi: ïe cedwaist iddo y drugaredd
fawr hon, a rhoddaist iddo fab i eistedd ar ei
orsedd-faingc ef, fel [y gwelyr] heddyw.
7 v Ac yn awr fy Arglwydd Dduw, ti a wnaeth- vDan. 21
ost i'th wâs deyrnasu yn lle Dafydd fy nhâd: a Pen14,21
minne yn llangc ieuangc heb fedru llywodraethu. Num.27 17
8 w A'th wâs [sydd] ym mysc dy bobl di y wDeut7 7
rhai a ddewisaist ti, pobl aml y rhai ni rifir, ac Gen.16, 10
nis cyfrifir o luosogrwydd.
9 x Am hynny dyro i'th wâs galon ddeallus xIago1,5 Sal.72,1
i farnu dy bobl, gan ddeall [rhagor] rhwng dâ a Heb.5,11
drwg: canys pwy a ddichon farnu dy luosog
bobl hyn?
10 A'r peth fu ddâ yng-olwg yr Arglwydd,
am ofyn o Salomon y peth hyn.
11 y A Duw a ddywedodd wrtho ef, O her- yIago4,3 Sal.4,6
wydd gofyn o honot y peth hyn, ac na ofynaist Diar.16, 31
it ddyddiau lawer, ac na ofynaist it olud, ac na
cheisiaist waed dy elynion, eithr ceisiaist it
ddeall i fedru gwrando barn:
12 z Wele gwneuthum yn ôl dy eiriau, wele zMat.7,7
rhoddais it galon ddoeth a deallus fel na bu dy 1 Ioan 5, 14
fath o'th flaen, ac na chyfyd dy fath ar dy ol di. Iob 19,12
13 A rhoddais it hefyd yr hyn nis gofynnaist, Diar.1,2 Col.2,3
sef golud, a gogoniant hefyd, fel na byddo un Pen 4,29 Mat.6,
o'th fath ym mysc y brinhinoedd dy holl ddydd- 33 Eph.3,
iau di. 20
14 a Ac os rhodi yn fy ffyrdd i gan gadw fy aPhil.3 17
neddfau a'm gorchymynnion megis y rhodiodd Heb.13,7
Dafydd dy dâd, estynnaf hefyd dy ddyddiau di. Sal.91,16 2 Sam.5,
15 b Yna y deffrôdd Salomon, ac wele breu- 4 bGen.41
ddwyd [oedd,] ac efe a ddaeth i Ierusalem ac 7
a safodd o flaen Arch cyfammod yr Arglwydd, Ex.40,3, 40
ac a offrymmodd offrymmau poeth, ac a aberth- Num.10, 30
odd aberthau hedd, ac a wnaeth wledd iw holl Pen 16, 65
weision.
16 c Yna dwy wragedd o butteiniaid a ddaeth- c Pen.4, 31
ant at y brenin, ac a safasant ger ei fron ef. Jos.2,1 Deu 23 17
17 d A'r naill wraig a ddywedodd, [Edrych] ar- dGen.43
naf fy arglwydd, myfi a'r wraig hon oeddem yn 20
trigo yn yr un tŷ, ac mi a escorais yn tŷ gyd a hi.
18 Ac ar y trydydd dydd wedi escor o honofi,
yr escorodd y wraig hon hefyd, ac yr [oeddem]
ni yng-hyd, heb arall yn tŷ gyd a ni, ond nyni
ein dwyoedd [oeddem] yn tŷ.
19 A mab y wraig hon a fu farw liw nos: o
herwydd hi a orweddodd arno ef.
20 e A hi a gododd yng-hanol y nôs, ac a e Iob 15 15,17
gymmerodd fy mab i o'm hymyl tra yr ydoedd
dy law-forwyn yn cysgu, ac ai gosododd ef yn
ei monwes hi, ai mab marw hi a osododd hi yn
fy monwes inne.
21 f Pan godais i yn foreu i beri i'm mab sug- fGen.21, 7
no, yna wele marw oedd efe: yna edrychais ar- Galar.4, 3
no yn foreu, ac wele nid fy mab mau fi yr hwn a 1 Sam.1 23
escoraswn i ydoedd efe.

alwasant ar enw Baal o'r boreu hyd hanner
dydd, Gan ddywedyd, Baal gwrando ni: ond ni
[chlybuwyd] llef, na neb yn atteb: a hwynt a
lammasant ar yr allor yr hon a wnelsid.
j Preg. 11. 9 27 j Pan ydoedd hi yn hanner dydd, yna El-
Pen. 22, 15 ias ai gwatwarodd hwynt, ac a ddywedodd,
Sal. 121. 4 Gelwch a llef uchel, gan mai duw yw efe: can-
ys ymddiddan [y mae,] neu erlyd ei [elynnion]
neu ymdeithio y mae efe, fe a alle gyscu o hon-
aw ef, ac [mai rhaid] ei ddeffroi ef.
k Lef. 19. 28 28 k A hwynt a waeddasant a llef uchel, ac a
Deut. 14. 1 ymrwygasant yn ol eu harfer a chyllill, ac ag
Ezec. 16. 36 ellynnod, nes gollwng gwaed arnynt.
Mica 6, 7 29 l Ac wedi iddi fyned tros hanner dydd, a
l Ier. 10, 5 phropwydo o honynt nes offrwmu y bwyd off-
1 Tim. 3, 9 rwm: etto ni chlybuwyd llef, na neb yn atteb,
na dim ystyriaeth [am danynt hwy.]
30 A dywedodd Elias wrth yr holl bobl, Nes-
sewch attfi, a'r holl bobl a nessasant atto ef: ac
efe a gyweiriodd allor yr Arglwydd yr hon a
ddrylliasid.
m Ios 4, 5 31 m Ac Elias a gymmerth ddeuddec o ger-
10 ric, yn ol rhifedi llwythau meibion Iacob: yr
1 Cor. 1, 10 hwn y buase gair yr Arglwydd gyd ag ef gan
Eph. 4, 3 ddywedyd, * Israel fydd dy enw di.
Ezra 6, 17
Esa. 52, 28 32 n Ac efe a adeiladodd a'r meini allor yn
*Gen. 32. 28 enw yr Arglwydd: ac a wnaeth ffos (o gylch lle
2 Bren. 17. 34 dau fesur o hâd) o amgylch i'r allor.
n Col. 3, 17 33 o Ac efe a drefnodd y coed, ac a ddrylliodd
1 Cor. 10. 31 y bustach, ac ai gosododd ef ar y coed.
Gen. 18, 6 34 p Ac efe a ddywedodd, Llenwch bedwar
o Gen. 22. 9 celyrned o ddwfr, a thywelltwch ar y poeth
Lef. 1, 6, 7 offrwm, ac ar y coed: ac efe a ddywedodd.
p Rhuf. 12, 12 Gwnewch eil-waith, a hwy a wnaethant eil-
waith: dywedodd hefyd, Gwnewch y drydedd
waith, a hwy a wnaethant y drydedd waith.
35 A'r dyfroedd a aethant o amgylch i'r all-
or, fel y llawnwyd y ffos o ddwfr.
q Gen. 26. 24 36 q A phan offrymmwyd y bwyd offrwm,
Ex. 3, 6, yna Elias y prophwyd a nessaodd, ac a ddyw-
Sal. 9, 16 a 83, 18 edodd, O Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, ac
Israel, gwybydder heddyw mai ti [sydd] Dduw
yn Israel, a minnef yn wâs i ti: ac mai trwy dy
air di y gwneuthum i yr holl bethau hyn.
r 1 Thes. 1, 9 37 r Gwrando fi O Arglwydd, gwrando fi,
Ier. 10, 23 fel y gwypo y bobl hyn mai tydi [yw'r] Ar-
glwydd Dduw: pan ddychwelech eu calon hwynt
trachefn.
s 1 Cron. 21, 26 38 s Yna tân yr Arglwydd a syrthiodd, ac a
2 Cron. 7, 1 yssodd y poeth offrwm, a'r coed, a'r cerrig,
t Ioan 5. 35 a'r llwch: ac a leibiodd y dwfr yr hwn [oedd]
Hos. 6, 4 yn y ffos.
u Can. 2, 15 39 t A'r holl bobl a welsant, ac a syrthiasant
Ier. 48, 10 ar eu hwynebau, ac a ddywedasant: Yr Arglwydd
Deut. 13, 5 a 18, 20 sydd Dduw, yr Arglwydd sydd Dduw.
Barn. 5. 21 40 u Ac Elias a ddywedodd wrthynt hwy, Del-
Num. 25. 7 iwch brophwydi Baal, na ddianged gŵr o hon-
ynt, a hwynt ai daliasant hwy: ac Elias ai dy-
godd hwynt i wared i afon Cison, ac ai lladdodd
hwynt yno.
41 v Ac Elias a ddywedodd wrth Ahab, Dos i v Ia. 7. 26
fynu, bwytta, ac yf: canys [wele] drwst llawer o 2 Sam. 11. 14
law.
42 w Felly Ahab a aeth i fynu i fwytta, ac i w Act. 10, 9
yfed: ac Elias a aeth i fynu i benn Carmel, ac a Iago 5, 18
ymestynnodd ar y ddaiar, ac a osododd ei wy-
neb rhwng ei liniau.
43 x Ac efe a ddywedodd wrth ei langc, Dos i x Sal. 38. 8
fynu yn awr, edrych tua yr mor, ac efe a aeth i Luc 18. 1
fynu ac a edrychodd, ac a ddywedodd, Nid[oes]
dim: a dywedodd yntef, Dos etto saith waith.
44 A'r seithfed waith y dywedodd efe, Wele
gwmmwl bychan fel cledr llaw gŵr yn derchafu
o'r mor: yna y dywedodd yntef, Dos i fynu, dy-
wet wrth Ahab, Rhwym [dy gerbyd,] a dos i
wared fel na'th rwystro yr glaw.
45 y Ac yn yr ennyd honno y nefoedd a dy- y Num. 25, 8
wyllasant gan gwmylau, a gwynt, fel y bu glaw Ios. 10. 12
mawr; yna Ahab a farchogodd, ac a aeth i Iez-
rahel.
46 z A llaw yr Arglwydd oedd gyd ag Elias, z 1 Pet. 1, 13
ac efe a wregyssodd ei lwynau; ac a redodd o Pen. 20.
flaen Ahab nes ei ddyfodd efe i Iezrahel.

## PEN. XIX.

*Elias yn ffoi rhag Iezabel. 5 Angel Duw yn ei borthi ef. 9 Duw yn ymddiddan ag Elias. ac yn ei yrru ef i eneinio Hazael ar Siria, Iehu ar Israel, ac Eliseus yn brophwyd.*

YNA a Ahab a fynegodd i Iezabel yr hyn a Pe. 22. 23
oll o wnaethe Elias; a chwbl oll a'r a ladd- a 18, 19
ase efe (sef yr holl brophwydi) a'r cleddyf.
2 b Yna Iezabel a anfonodd gennad at Elias b Deut. 28, 28
gan ddywedyd, Fel hyn y gwnelo y duwiau, ac Act. 23, 12
fel hyn y chanegant oni osodaf erbyn y pryd Rhuf. 3, 15
[hyn] y foru dy einioes di fel einioes un o hon- Diar. 4, 16
ynt hwy.
3 c Pan welodd efe [hynny,] yna y cyfododd c 2 Cor. 11. 7
efe, ac efe a aeth am ei einioes, ac a ddaeth i Beer-
seba yr hon [sydd] yn Iuda: ac efe a adawodd
ei langc yno.
4 d Ac efe aeth i'r anialwch daith diwrnod, ac d Ionah 4. 8
a ddaeth, ac a eisteddodd tann ryw fêrywen: ac Iob 3, 21
a ddeisyfiodd gael marw: dywedodd hefyd, Dig- Phil. 1. 23
on yw, yn awr Arglwydd cymmer fy enaid, Num. 11. 15
canys nid ydwyf fi well na'm tadau.
5 e Ac efe a orweddodd, ac a gyscodd tann e Gen. 28. 11
ryw fêrywen: ac wele ryw angel yn cyffwrdd Heb. 1. 14
ag ef, yr hwn a ddywedodd wrtho ef, Cyfot, a 13. 2
bwytta.
6 Ac efe a edrychodd, ac wele deisen wedi ei
chrasu ar farwor, a phioled o ddwfr wrth ei ben
ef: felly efe a fwyttaodd, ac a yfodd, ac a ddych-
welodd, ac a gyscodd.
7 f Ac angel yr Arglwydd a ddaeth trachefn f Phil. 4. 13
yr ail waith, ac a gyffyrddodd ef, ac a ddywed-

odd, Cyfot bwytta: canys [y mae] i ti lawer o ffordd.
8 [g] Yna efe a gyfododd, ac a fwyttaodd, ac a
gDiar.10 22 yfodd: a thrwy rym y bwyd hwnnw y cerddodd
Hab.3,17 16 efe ddeugain nhiwrnod, a deugain nhôs hyd
Dan.1,15 Ex.34,18 Horeb mynydd Duw.
a 3, 1 9 [h] Ac yno yr aeth efe i fewn ogof, ac a let-
Mat. 4.2 h Ex. 33, 21, 22 teuodd yno: ac wele air yr Arglwydd atto ef,
ac efe a ddywedodd wrtho ef, Beth [a wnei] di
ymma Elias?
Num.25 11 10 [i] Ac efe a ddywedodd, Dygais fawr zêl dros
Ioan 2,17 Arglwydd Dduw y lluoedd, o herwydd i feibion
Sal.69,10 Pen 18,4 Israel wrthod dy gyfammod ti, a destruwio dy
allorau di, a lladd dy brophwydi di a'r cleddyf: a
Rhuf. * mi fy hunan a adawyd, a cheisio y maent hwy
1, 3 Pen18,22 ddwyn fy enioes inne.
11 Ac efe a ddywedodd, Tyret allan, a saf yn
y mynydd ger bron yr Arglwydd, ac wele yr Ar-
glwydd yn myned heibio, a gwynt mawr a chryf
yn rhwygo yr mynyddoedd, ac yn dryllio yr
creigiau o flaen yr Arglwydd, [ond] nid [oedd]
yr Arglwydd yn y gwynt: ac ar ol y gwynt [y
daeth] daiar-gryn, ac nid [oedd] yr Arglwydd
yn y ddaiar-gryn.
12 Ac ar ol y ddaiar-gryn [y daeth] tân [ond]
nid [oedd] yr Arglwydd yn y tân: ac ar ol y
tân [y daeth] llef ddistaw fain.
Ex. 3, 6 33, 23 13 [j] A phan glybu Elias [hynny,] yna efe a
Esa. 6, 2 oblygodd ei wyneb yn ei fantell, ac a ddaeth
allan, ac a safodd [wrth] ddrws yr ogof: ac wele
lef [yn dyfod] atto ef, yr hon a ddywedodd, Beth
[a wnei] di ymma Elias?
14 Dywedodd yntef, Dygais zêl dros Ar-
glwydd Dduw y lluoedd, o herwydd i feibion
Israel wrthod dy gyfammod ti a destruwio dy
allorau, a lladd dy brophwydi a'r cleddyf: a mi
fy hunan a adawyd, a cheisio y maent fy enioes
inne fel y dygent hi ymmaith.
Gen. 14 15 [k] A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho ef,
Bren. 8 Dos, dychwel i'th ffordd [tu ag] anialwch Da-
mascus: pan ddelech [yno] eneinia Hazael yn
Bren.9 frenin ar Syria.
c 4,27 16 [l] Iehu fab Nimsi a eneini di yn frenin ar
n 4,12 Bren. Israel: ac Eliseus fab Saphat o Abel Meholah a
13, 2 eneini di yn brophwyd yn dy le dy hun.
Bren.9, 17 A'r * hwn a ddiango rhac cleddyf Hazael,
a.11,4 Iehu ai lladd ef: ac Eliseus a ladd yr hwn a ddi-
1. 10 Amos 2, ango rhac cleddyf Iehu.
18 Ac * [m] mi a adewais yn Israel saith o fil-
Rhuf. 4 oedd: gliniau y rhai oll nid ymgrymmasant i
Sal. 95 Baal, a genau y rhai oll nis cussanasant ef.
31 27 19 [n] Felly efe aeth oddi yno, ac a gafodd Eli-
13 2 41, seus fab Saphat yn aredic a deuddec cwpl [o
Amos ŷchen] oi flaen, ac efe [oedd] gyd a'r deuddec: ac
4 Gen. 1 a fwriodd ei fantell am dano ef.
20 [o] Ac efe a adawodd yr ŷchen, ac a redodd
Mat. 4, ar ol Elias, ac a ddywedodd, Attolwg gad i mi
8, 22 Luc 9,62 gussanu fy nhad, a'm mam, ac mi a ddeuaf ar dy
ol: ac yntef a ddywedodd wrtho ef, Dos, dych-
wel, canys beth a wneuthum i ti?
21 [p] Ac efe a ddychwelodd oddi ar ei ol ef, ac
a gymmerth gwpl o ŷchen, ac ai lladdodd, ac p Luc 5 29
ag offer yr ŷchen efe ai berwodd hwynt, ac a
roddodd y cig i'r bobl, ac hwy a fwyttawsant:
yna efe a gyfododd, ac a aeth ar ol Elias, ac ai
gwasanaethodd ef.

## PEN. XX.

*Brein Syria yn gwarchau Samaria. 13 Duw yn addo ac yn rhodd yr oruchafiaeth i Israel. 34 Y prophwydi yn ceryddu Ahab am wneuthur cyfammod a brenin Syria.*

YNA [q] Benhadad brenin Syria a gasclodd
ei holl lû, a deuddec brenin ar hugain qPen 15, 20
gyd ag ef, a meirch, a cherbydau: ac efe a aeth 2Bren 8, 15
i fynu, ac a warchaodd ar Samaria, ac ymla- Gen. 14,1
ddodd i'w herbyn hi. Ios. 12,7
2 [r] Ac efe a anfonodd gennadau at Ahab bre-
nin Israel i'r ddinas. rEsa. 36, 2, 3
3 [s] Ac a ddywedodd wrtho ef, Fel hyn y dy-
wed Benhadad, Dy arian a'th aur sydd eiddo sEx 15,9
fi: dy wragedd hefyd a'th feibion teccaf ydynt
eiddo fi.
4 [t] A brenin Israel a attebodd, ac a ddywed-
odd, Yn ol dy air di fy arglwydd frenin myfi tBarn. 6 35
a'r hyn oll [sydd] gennif [ydym] eiddo ti.
5 A'r cennadau a ddychwelasant, ac a ddyw-
edasant, Fel hyn yr ymadroddion Benhadad
gan ddywedyd, O herwydd i mi anfon attat ti
gan ddywedyd, dy arian, a'th aur, a'th wragedd,
a'th feibion a roddi di i mi,
6 [u] Am hynny yng-hylch y pryd [hyn] y foru
yr anfonaf fyng-weision attat ti, fel y chwiliant n 2 Sam. 24, 14
dy dŷ, a thai dy weision: a phob peth dymunol
yn dy olwg a gymmerant hwy yn eu dwylo,
ac [ai] dugant ymmaith.
7 [v] Yna brenin Israel a alwodd am holl hen- v Pen 2, 1
uriaid y wlad, ac a ddywedodd, Gwybyddwch Diar. 11 4
attolwg, a gwelwch mai ceisio drygioni y mae Lef. 4,15
hwn: canys efe a anfonodd attafi, am fyngwra- Diar. 1, 19
gedd, am fy meibion, ac am fy arian, ac am fy 1 Tim. 6 10
aur, ac nis gommeddais ef.
8 Yr holl henuriaid hefyd, a'r holl bobl a
ddywedasant wrtho ef, Na wrando, ac na chyd-
tuna [ag ef.]
9 [w] Am hynny y dywedodd efe wrth gennadau wPen.19 2
Benhadad, Dywedwch i'm harglwydd y brenin, Esa. 36, 12
[am] yr hyn oll yr anfonaist ti at dy was o'r Ex. 11,8
cyntaf mi ai gwnaf, ond ni allaf wneuthur y Barn. 4, 10
peth hyn: a'r cennadau a aethant, ac a ddug-
asant air iddo ef.
10 A Benhadad a anfonodd atto ef ac a ddyw-
edodd, Fel hyn y gwnelo y duwiau i mi, ac
fel hyn y chwanegant: os bydd pridd Samaria xPreg.7
ddigon [i lenwi] dyrnau yr holl bobl y rhai 8 a 9, 11
[ydynt] i'm canlyn i. 1Sam. 14 6
11 [x] A brenin Israel a attebodd, ac a ddywed- Diar.21, 30

odd, Dywedwch [wrtho ef,] Nac ymffrostied yr
y Pen 16,9 hwn a wregysso [ei arfau,] fel yr hwn a'i diosco.
Dan. 5,1, 2 12 y A phan glywodd efe y peth hyn, ac efe
yn yfed, efe a'r brenhinoedd yn eu pebyll: yna
a ddywedodd wrth ei weision, Gosodwch; a
hwy a osodasant ar y ddinas.
z Sal. 46,1 Esa. 8,9 13 z Yna wele rhyw brophwyd a nessaodd at
10 Sal. 9,16 Ahab brenin Israel, ac a ddywedodd, Fel hyn y
dywedodd yr Arglwydd, Oni welaisti'r holl
dyrfa fawr hon: wele fi yn eu rhoddi hwynt yn
dy law di heddyw, fel y gwypech mai myfi [yd-
wyf] yr Arglwydd.
a Barn. 7 2 14 a Ac Ahab a ddywedodd, Drwy bwy? dy-
1 Cor. 1, 27, 28 wedodd yntef, Fel hyn y dywedodd yr Ar-
glwydd, Drwy langciau tywysogion y talaith-
au: ac efe a ddywedodd, Pwy a luniaetha 'r
b 2 Sam. 17, 2 rhyfel: Dywedodd yntef, b Tydi.
15 Yna efe a gyfrifodd langciau tywysogion
y talaithau, ac yr oeddynt yn ddau cant, [a]
deuddec ar hugain: ac ar eu hol hwynt efe
a gyfrifodd yr holl bobl, cwbl o feibion Israel
yn saith mil.
c Pen 16 9 16 c Ac hwy a aethant allan ganol dydd: a
Diar. 31, 4, 5 Benhadad oedd yn yfed yn feddw yn y gwers-
syllau efe a'r brenhinoedd, sef y deuddec bre-
nin ar hugain y rhai oeddynt yn ei gynnor-
thwyo ef.
17 Felly llangciau tywysogion y talaithau
a aethant allan yn gyntaf: a Benhadad a an-
fonodd [gennadau,] ac hwy a fynegasant iddo
ef gan ddywedyd, Dynion a ddaethant allan
o Samaria.
d Sal. 75 5 18 d Ac efe a ddywedodd, Os am heddwch y
1 Sam. 2, 3 daethant allan deliwch hwynt yn fyw: ac os
i rhyfel y daethant allan, deliwch hwynt yn fyw.
19 Felly 'r aethant hwy o'r ddinas, [sef]
llangciau tywysogion y talaithau: a'r llu 'r
hwn [oedd] ar eu hol hwynt.
e Sal. 33, 16 20 e Ac hwy a laddasant bawb † ei wr, a'r
† Sef, 7,232 Syriaid a ffoasant, ac Israel a'i herlidiodd hwynt:
Adn 15 a Benhadad brenin Syria a ddiangodd ar farch,
gyd a'r gwŷr meirch.
21 Yna brenin Israel a aeth allan, ac a dar-
awodd y meirch, a'r cerbydau: felly efe a dar-
f 2 Bren 6, 8, 9 awodd y Syriaid a phla mawr.
Diar. 20 18 22 f A'r prophwyd a nesaodd at frenin Is-
Sal. 27, 1 rael, ac a ddywedodd wrtho ef, Dos ymgryf-
Rhuf. 8, 31 ha, gwybydd hefyd, a gwel yr hyn a wnelech:
1 Cro. 21,1 canys yng-hyfnod y flwyddyn brenin Syria a
2 Sam. 11 1 ddaw i fynu i'th erbyn di.
2 Cron. 26, 10 23 g Yna gweision brenin Syria a ddywedas-
Esa. 26, 11 ant wrtho ef, Duwiau y mynyddoedd [yw] eu
g Pen 14 24 duwiau hwynt, am hynny trêch fuant na ni: er
Esa. 42,8 hynny os ymladdwn ni a hwynt yn y gwastad
h Diar. 21 30 [ti a gei weled] oni orthrechwn ni hwynt.
Iob 5,13, 14 24 h Gwna gan hynny y peth hyn; tyn ym-
maith y brenhinoedd bob un o'i le, a gosot ddug-
iaid yn ei lle hwynt.
25 Rhifa hefyd it lu fel y llu 'r hwn a goll-
aist ti, a meirch fel y meirch [hynny.] a cher-
bydau fel y cerbydau [hynny,] ac ni a ymladdwn
a hwynt yn y gwastad tir: [a chei weled] oni
orthrechwn ni hwynt: ac efe a wrandaodd ar
eu llais hwynt, ac a wnaeth felly.
26 i Ac yng-hyfnod y flwyddyn, Benhadad i Ios. 13,
a gyfrifodd y Syriaid: ac a aeth i fynu i Aphec a 19, 3 Barn. 1,
i ryfela yn erbyn Israel. 31 Adn 30
27 j A meibion Israel a gyfrifwyd, ac a nifer- j Barn. 6, 5
wyd, ac a aethant i'w cyfarfod hwynt: a meib- Ier. 11, 3
ion Israel a werssyllasant yn eu herbyn hwynt:
fel dwy ddiadell fechan o eifr; a'r Syriaid a
lawnasant y wlad.
28 k A gŵr Duw a nessaodd, ac a lefarodd k Esa. 37,
wrth frenin Israel, ac a ddywedodd, Fel hyn y 29
dywedodd yr Arglwydd, O herwydd dywed-
yd o'r Syriaid Duw y mynyddoedd [yw] 'r Ar-
glwydd, ac nid Duw 'r dyffrynoedd [yw] efe:
am hynny y rhoddaf yr holl dyrfa fawr hon i'th
law di, ac y cewch wybod mai myfi [yw] 'r
Arglwydd.
29 l A'r rhai hyn a werssyllasant yn erbyn y l Ios. 10,
llaill saith niwrnod: ac ar seithfed dydd y rhy- Esa. 8, 11
fel a nesaodd, a meibion Israel a laddasant o'r Sal. 18,
Syriaid gan mil o wŷr traed mewn un diwrnod. 44
30 m A'r lleill a ffoasant i Aphec i'r ddinas, m Pen 22, 25
a'r mûr a syrthiodd ar saith mil ar hugain o'r Dan. 4,
gwŷr a adawsid: a Benhadad a ffodd, ac a 37
ddaeth i'r ddinas o stafell i stafell.
31 n Ai weision a ddywedasant wrtho ef, Wele
clywsom yn awr am frenhinoedd tŷ Israel, mai n Gen. 37, 34
brenhinoedd trugarogion ydynt hwy; gosodwn
attolwg sachliain am ein lwynau, a rhaffau am
ein pennau, ac awn at frenin Israel, ond onid efe
a geidw dy einioes di.
32 o Yna y gwregysasant sachliain am eu lwy-
nau, a rhaffau am eu pennau, ac a ddaethant o Sal. 113
at frenin Israel, ac a ddywedasant, Benhadad
dy was a ddywedodd, Attolwg gad i mi fyw;
dywedodd yntef, A ydyw efe etto yn fyw? fy
mrawd [yw] efe.
33 A'r gwŷr a gymmerasant [hynny] yn ar-
goel dda, ac a frysiasant, a gippiasant y [gair]
oddi wrtho ef, ac a ddywedasant, Dy frawd
Benhadad: dywedodd yntef, Ewch dygwch ef;
felly Benhadad a ddaeth allan atto ef, ac efe a
barodd iddo ddyfod i fynu i'r cerbyd.
34 p A Benhadad a ddywedodd wrtho ef, Y p Pen 15, 20
dinasoedd y rhai a ddûg fy nhad i oddiar dy
dad ti a roddaf trachefn, fel y gosottech heolydd q 2 Bren. 8, 3
it yn Namascus, fel y gosododd fy nhad yn Sa-
maria, a [dywedodd Ahab] Mi a'th ollyngaf 1 Sam. 10 12
drwy'r ammod [hwn;] felly efe a wnaeth gyfam- Esa. 8, 18 Adn 33
mod ag ef, ac a'i gollyngodd ef. Diar. 1,5
35 q Yna rhyw ŵr o feibion y prophwydi a Mat. 16, 14

† Nid ddywedodd wrth ei gymydog drwy air yr
lladd a Arglwydd, Taro fi attolwg; ond y gŵr a wrth-
feddylir yma, fel Adn. 36 ododd ei † daro ef.
Ex. 21,15 36 *f* Dywedodd yntef wrtho ef, O herwydd
18 Diar. 25 na wrandewaist ar lais yr Arglwydd, wele pan
13 Adn. 37 elech oddi wrthif y llew a'th ladd di; felly efe a
1 Sam. aeth oddi wrtho ef, a'r llew ai cyfarfu ef, ac ai
5,22,23 Pen 16,24 lladdodd.
37 Yna efe a gafodd ŵr arall, ac a ddywed-
odd, Taro fi attolwg; a'r gŵr ai tarawodd ef
gan ei daro, ai archolli.
Pen 14, a 22,30 38 *s* Felly'r aeth y prophwyd ac a safodd o
flaen y brenin ar y ffordd, ac a ymddieithrodd
trwy [osod] lludw ar ei lygaid.
1 Sam. 39 *t* A phan ddaeth y brenin heibio, yna efe a
1,2 1,21,23 lefodd ar y brenin, ac a ddywedodd; Dy was
a aeth i ganol y rhyfel, ac wele gŵr a aeth ym-
maith yr hwn a ddugase rhyw ŵr attafi, ac a
ddywedase, Cadw y gŵr hwn; os gan golli y
collir ef, yna y bydd dy einioes di yn lle ei ein-
ioes ef, neu ti a deli dalent o arian.
ac 19, 40 *u* A thra yr oedd dy was yn ymdroi ymma,
ac accw, efe a [ddiangodd,] ac nid [yw] efe [iw
a 11, gael;] a brenin Israel a ddywedodd wrtho ef,
r.6,2 15,6 Felly [y bydd] dy farn, ti [ai] gosodaist [hi.]
41 Yna efe a fryssiodd, ac a dynnodd ym-
maith yr hûg oddi ar ei lygaid; a brenin Israel
ai hadnabu ef, mai o'r prophwydi ['r oedd] efe.
42 *v* Ac efe a ddywedodd wrtho ef, Fel hyn y
22, dywedodd yr Arglwydd, o herwydd it' ollwng
ymmaith o'th law di y gŵr a roddais i farw; dy
einioes di fydd yn lle ei einioes ef, a'th bobl di
yn lle ei bobl ef.
43 *w* Yna brenin Israel a aeth iw dŷ ei hun,
22, yn drist, ac yn llidioc; ac a ddaeth i Samaria.

## PEN. XXI.

*Iezabel yn peri lladd Naboth i gael ei winllan ef. 19 Elias yn ceryddu Ahab. 27 Ynte yn cymmeryd math ar edifeirwch, ac yn cael gan Dduw ei arbed.*

11 1,39 A *x* DIGWYDDODD yn ôl y pethau hyn
20, fod gwin-llan gan Naboth y Iezraeliad yr
3,13 hon [oedd] yn Iezrabel, wrth balas Ahab brenin
18 Samaria.
n.6 2 *y* Ac Ahab a lefarodd wrth Naboth, gan
ddywedyd, Dyro i mi dy win-llan, fel y byddo
12, hi i mi yn ardd lyssiau, canys y mae hi yn agos
i'm tŷ i, ac mi a roddaf i ti am deni hi win-llan
well na hi; [neu] os dâ fydd gennit, rhoddaf i ti
ei gwerth hi o arian.
3 *z* A Naboth a ddywedodd wrth Ahab; Na
25, atto'r Arglwydd i mi roddi tref-tadaeth fy hen-
36 afiaid i ti.
46 4 *a* Yna Ahab a ddaeth iw dŷ yn athrist ac yn
20, llidioc (o herwydd y gair yr hwn a lefarase
Naboth yr Iesraeliad wrtho ef, pan ddywedodd
efe, Ni roddaf it' dref-tadaeth fy henafiaid,) ac
efe a orweddodd ar ei wely, ac a drôdd ei wy-
neb, ac ni fwyttai fara.
5 *b* Yna Iezabel ei wraig a ddaeth atto ef, ac a b Gen. 3
ddywedodd wrtho ef, Pa ham y mae dy yspryd 6 Pen 11,4
[mor] athrist, ac nad wyt yn bwytta bara? Preg 7,26
6 Ac efe a ddywedodd wrthi hi, O herwydd i
mi lefaru wrth Naboth yr Iesraeliad, a dywed-
yd wrtho ef, Dyro i mi dy winllan er arian, neu
os mynni di, rhoddaf it' win-llan am deni; ond
efe a ddywedodd, Ni roddaf it' fyng-winllan.
7 *c* Yna Iezabel ei wraig a ddywedodd wrtho c 1 Sam.
ef, [Onid] ydwyt ti yn awr yn teyrnasu ar Israel? 8,14 Dat. 17,3.
cyfot, bwytta fara, a llawenhaed dy galon, myfi
a roddaf i ti winllan Naboth yr Iezraeliad.
8 *d* Felly hi a scrifennodd lythŷrau yn enw d Est. 3,
Ahab, ac ai seliodd ai sêl ef; ac a anfonodd y 12 Deut. 21
llythyrau at yr henuriaid, ac at pennaethiaid y 2
rhai [oeddynt] yn ei ddinas ef yn trigo gyd â Barn. 8,
Naboth. 14
9 *e* A hi a scrifennodd yn y llythŷrau gan ddy-
ddywedyd, Cyhoeddwch ympryd, a chyfleuwch e Gen. 34 22
Naboth ym mysc pennaethiaid y bobl. Esa. 58,4 Luc 20,
10 *f* Cyfleuwch hefyd ddau ŵr o feibion y fall 47 Mat. 2,8
gyferbyn ag ef, i destiolaethu i'w erbyn ef gan Num. 25
ddywedyd, Ti a geblaist Dduw, ar brenin; yna 7 f Deut. 13
dygwch ef allan a llabyddiwch ef, fel y byddo 6 a 13, 15.
efe marw. Iob 2, 9
11 *g* A gwŷr ei ddinas ef [sef] yr henuriaid, Ios. 7,24. Marc 15,
a'r pennaethiaid y rhai oeddynt yn trigo yn ei 20 Lef. 24,
ddinas ef a wnaethant yn ol yr hyn a anfonase 15, 16
Iezabel attynt hwy; [sef] yn ol yr hyn oedd yn Diar. 1, 19
scrifennedic yn y llythyrau y rhai a anfonase hi g Ex. 1,17 Diar. 29,
attynt hwy. 12 1 Sam. 23
12 Cyhoeddasant ympryd, a chyfleuasant Na- 20 Act 5,29
both ym mysc pennaethiaid y bobl. h Ios. 7,
13 *h* A'r ddau ŵr o feibion y fall a ddaethant, 24
ac eisteddasant ar ei gyfer ef, gwŷr y fall a de- Num. 16, 32, 36
stiolaethasant yn erbyn Naboth, ger bron y Deut. 24, 16
bobl gan ddywedyd, Naboth a gablodd Dduw,
a'r brenin; yna hwynt ai dugasant ef allan o'r
ddinas, ac ai llabyddiasant ef a meini, fel y bu
efe farw.
14 Yna'r anfonasant hwy at Iezabel gan
ddywedyd, Naboth a labyddiwyd, ac a fu farw.
15 Pan glybu Iezabel labyddio Naboth, ai
farw ef; yna Iezabel a ddywedodd wrth Ahab,
Cyfot, meddianna win-llan Naboth yr Iezrael-
iad, yr hwn a wrthododd [ei] rhoddi i ti er
arian, canys nid byw Naboth, eithr marw yw efe.
16 A phan glybu Ahab farw o Naboth; yna
Ahab gyfododd i fyned i wared i win-llan Na-
both yr Iezraeliad i'w meddiannu hi.
17 *i* A gair yr Arglwydd a ddaeth at Elias y i 2 Bren. 9.
Thesbiad gan ddywedyd, 26 Sal. 9, 12
18 Cyfod, dos i wared i gyfarfod Ahab bre- Heb. 3,13 Pen 17,1.
nin Israel, yr hwn [sydd] yn Samaria; wele efe
yng-winllan Naboth yr hon yr aeth efe i war-
ed iddi i'w meddiannu.

19 ʲ A llefara wrtho ef gan ddywedyd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, A leddaisti, ac a feddiannaist hefyd? llefara hefyd wrtho ef gan ddywedyd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Y fan lle y llyfodd y cŵn waed Naboth, y cŵn a lyfant dy waed tithef hefyd.

20 ᵏ A dywedodd Ahab wrth Elias, A gefaist ti fi O fyng-elyn; dywedodd yntef, Cefais, canys ti ymroddaist i wneuthur yr hyn sydd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd

21 Wele * fi yn dwyn dialedd arnat ti, a mi a dynnaf ymmaith dy hiliogaeth di; ac a dorrafoddi wrth Ahab yr hwn a bisso ar bared, y gwarchaedic hefyd a'r gweddilledic yn Israel.

22 A mi a roddaf dy dŷ di * fel tŷ Ieroboam mab Nabat, ac fel tŷ Baasa mab Ahia: o herwydd y digter [drwy] r'hwn [i'm] digiaist, ac y gwnaethosti i Israel bechu.

23 Am Iezabel hefyd y llefarodd yr Arglwydd gan ddywedyd, Cŵn a fwytânt Iezabel yn rhan-dir Iezrahel.

24 ˡ Y cŵn a fwytânt yr hwn fyddo marw o eiddo Ahab yn y ddinas; a'r hwn a fyddo marw yn y maes a fwtta adar y nefoedd.

25 ᵐ Diau na bu [neb] fel Ahab yr hwn a ymroddodd i wneuthur yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd; o herwydd Iezabel ei wraig ai hannogodd ef.

26 ⁿ Canys efe wnaeth yn ffiaidd iawn, gan fyned ar ol y delwau; yn ol yr hyn oll a wnaeth yr Amoriaid y rhai a yrrodd yr Arglwydd allan o flaen meibion Israel.

27 ᵒ A phan glybu Ahab y geiriau hyn, yna efe a rwygodd ei ddillad, ac a osododd sachliain am ei gnawd, ac a ymprydiodd; ac a orweddodd mewn sachliain, ac a rodiodd yn arafaidd.

28 ᵖ A gair yr Arglwydd a ddaeth at Elias y Thesbiad gan ddywedyd,

29 ᑫ Oni weli di, fel yr ymostyngodd Ahab ger fy mron i? am iddo ef ymostwng ger fy mron i, ni ddygaf y drwg hwnnw yn ei ddyddiau ef, [ond] * yn nyddiau ei fab ef y dygaf y drwg hwnnw ar ei dŷ ef.

## PEN. XXII.

*Rhyfel Ahab yn erbyn Ramoth. 15 Michea yn prophwydoliaethau y gwir yn erbyn y gau brophwydi. 40 Ahazia yn teyrnasu yn lle Ahab. 50 Ac Ioram yn lle Iosaphat.*

WEDI ʳ iddynt aros dair blynedd heb ryfel rhwng Syria ac Israel:

2 Yna yn y * drydedd flwyddyn, Iehosaphat brenin Iuda a ddaeth i wared at frenin Israel.

3 ˢ A brenin Israel a ddywedodd wrth ei weision, Oni wyddoch mai eiddo ni [oedd] Ramoth Gilead? a'n bod ni yn tewi heb ei dwyn hi o law brenin Syria?

4 ᵗ Yna efe a ddywedodd wrth Iehosaphat, A ei di gyd a mi i ryfel [yn erbyn] Ramoth Gilead? ac Iehosaphat a ddywedodd wrth frenin Israel, Yr ydwyfi fel tithe, fy mhobl i fel dy bobl dithe, fy meirch i fel dy feirch dithe.

5 ᵘ Iehosaphat hefyd a ddywedodd wrth frenin Israel: Ymgynghora attolwg heddyw a gair yr Arglwydd.

6 ᵛ Yna brenin Israel a gasclodd o'r prophwydi yng-hylch pedwar cant o wŷr, ac a ddywedodd wrthynt hwy, A âf fi yn erbyn Ramoth Gilead i ryfel neu a beidiafi? dywedasant hwythau, Dos i fynu, canys yr Arglwydd ai dyru hi yn llaw'r brenin.

7 Ac Iehosaphat a ddywedodd, Onid [oes] ymma [un] prophwyd i'r Arglwydd mwyach? fel yr ymgynghorem ag ef?

8 ʷ A brenin Israel a ddywedodd wrth Iehosaphat, [Y mae] etto un gŵr drwy'r hwn y [gallem] ymgynghori a'r Arglwydd, eithr câs yw gennyfi ef, canys ni phrophwyda efe i mi ddaioni namyn drygioni: (Michea mab Iimla [yw ei enw]) a dywedodd Iehosaphat, Na ddyweded y brenin felly.

9 Yna brenin Israel a alwodd ar un [oi] stafellyddion, ac a ddywedodd: Bryssia [galw] Michea fab Iimla.

10 ˣ A brenin Israel, ac Iehosaphat brenin Iuda oeddynt yn eistedd bob un ar ei deyrn-gader wedi eu gwisgo mewn [brenhinawl] wiscoedd, mewn llannerch [wrth] ddrws porth Samaria: a'r holl brophwydi oeddynt yn prophwydo ger eu bron hwynt.

11 ʸ A Zidecia mab Chanaana a wnaeth gyrn heirn: ac a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, A'r rhai hyn y corni di y Syriaid nes it eu difa hwynt.

12 ᶻ A'r holl brophwydi oeddynt yn prophwydo fel hyn, gan ddywedyd, Dôs i fynu i Ramoth Gilead, a ffynna, canys yr Arglwydd ai dyru hi yn llaw yr brenin.

13 ᵃ A'r gennad yr hwn a aethe i alw Michea a lafarodd wrtho ef gan ddywedyd, Wele yn awr, eiriau y prophwydi yn un air yn dda i'r brenin: bydded attolwg dy air dithe, fel gair un o'r rhai hynny, a dywet y goref.

14 ᵇ A dywedodd Michea, [Fel] mai byw'r Arglwydd, [diau] mai'r hyn a ddywedodd yr Arglwydd wrthifi, hynny a lefaraf.

15 ᶜ Felly efe a ddaeth at y brenin, a'r brenin a ddywedodd wrtho, Michea, a awn ni i ryfel [yn erbyn] Ramoth Gilead, ai peidio? dywedodd yntef wrtho, Dôs i fynu, a llwydda, canys yr Arglwydd ai dyru hi yn llaw'r brenin.

16 A'r brenin a ddywedodd wrtho ef, Hyd ba sawl gwaith yr ydwyfi yn dy dynghedu di, ar na ddywedech di wrthif onid gwirionedd yn enw yr Arglwydd?

17 ᵈ Yna efe a ddywedodd, Gwelais holl

Israel yn wascaredic ar hŷd y mynyddoedd, fel
defaid y rhai ni [bydde] iddynt fugail: a dywed-
odd yr Arglwydd, Nid [oes] feistred arnynt hwy,
dychweled pob un iw dŷ ei hun mewn heddwch.
18 A brenin Israel a ddywedodd wrth Ieho-
saphat, Oni ddywedais i wrthit ti na proph-
wyde efe ddaioni i mi, eithr drygioni?
19 ᵉ Ac efe a ddywedodd, Clyw gan hynny
air yr Arglwydd; gwelais yr Arglwydd yn eis-
tedd ar ei orseddfa, a holl lu y nefoedd yn se-
fyll o bob parth iddo ef ar ei law ddehau, ac ar
ei law asswy ef.
20 A'r Arglwydd a ddywedodd, Pwy a
dwylla Ahab, fel yr elo efe i fynu, ac y syrthio
yn Ramoth Gilead: ac un a ddywedodd fel
hyn, ac arall oedd yn dywedyd fel hyn.
21 ᶠ Yna yspryd a ddaeth allan, ac a safodd
ger bron yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Myfi
ai twyllaf ef: a dywedodd yr Arglwydd wrtho
ef, Pa fodd?
22 ᵍ Dywedodd yntef, Mi a âf allan, ac a fy-
ddaf yn yspryd celwyddoc yng-enau ei holl bro-
phwydi ef: yna ['r Arglwydd] a ddywedodd,
Twylli a gorchfygi [ef,] dos ymmaith, a gwna
felly.
23 ʰ Ac yn awr wele 'r Arglwydd a roddodd
yspryd celwyddoc yng-enau dy holl brophwydi
hyn: a'r Arglwydd a lefarodd ddrwg am danat ti.
24 ⁱ Yna Zidecia mab Canaanah a nessaodd,
ac a darawodd Michea tan [ei] gern: ac a ddy-
wedodd, * Pa bryd yr aeth yspryd yr Arglwydd
oddi wrthyfi i ymddiddan a thi?
25 ʲ A Michea a ddywedodd, Wele ti a gei
weled yn y dwthwn hwnnw, pan elech di o stafell
i stafell i ymguddio.
26 ᵏ A brenin Israel a ddywedodd, Cymmer
Michea, a dwg ef at Amon tywysog y ddinas,
ac at Ioas mab y brenin:
27 ˡ A dywet, Fel hyn y dywedodd y brenin,
Gosodwch hwn yn y carchar-dŷ: a bwydwch
ef a bara cystudd, ac a dwfr blinder, nes i mi
ddyfod mewn heddwch.
28 ᵐ A dywedodd Michea, Os gan ddychwel-
yd y dychweli di mewn heddwch, ni lefarodd
yr Arglwydd ynofi: dywedodd hefyd, Gwran-
dewch [hyn] yr holl bobl.
29 Felly brenin Israel, ac * Iehosaphat brenin
Iuda a aethant i fynu i Ramoth Gilead.
30 ⁿ A brenin Israel a ddywedodd wrth Ieho-
saphat, Mi a newidiaf fy nillad, ac a âf i'r rhy-
fel, ond gwisc di dy ddillad dy hun: a brenin
Israel a newidiodd ei ddillad, ac a aeth i'r rhyfel.
31 ᵒ A brenin Syria a orchymynnodd i dyw-
ysogion y cerbydau y rhai [oeddynt] ganddo
([sef] deuddec ar hugain,) gan ddywedyd, Nac
ymleddwch a bychan, nac a mawr: onid a bre-
nin Israel ei hun.

32 ᵖ Pan welodd tywysogion y cerbydau Ie-
hosaphat, yna hwy a ddywedasant, Diau brenin
Israel [yw] efe, a hwynt a droasant i ymladd yn
ei erbyn ef: ac Iehosaphat a waeddodd.
33 A phan welodd tywysogion y cerbydau
nad brenin Israel oedd efe: yna hwynt a ddy-
chwelasant oddi ar ei ol ef.
34 ᑫ Yna rhyw ŵr a dynnodd mewn bŵa ar
ei amcan,*ac a darawodd frenin Israel rhwng y
cyssylltiadau, sef rhwng [cyssylltiadau] y llu-
ric: am hynny efe a ddywedodd wrth ei wast-
rawd, Tro dy law, a dwg fi allan o'r fyddin, ca-
nys fo'm clwyfwyd i.
35 ʳ A'r rhyfel a gryfhaodd y dwthwn hwn-
nw, a'r brenin oedd wedi ei osod mewn cerbyd
ar gyfer y Syriaid: ac efe a fu farw gyd ar hwyr,
a gwaed yr archoll a ffrydiodd i ganol y cerbyd.
36 ˢ Am hynny yr aeth cyhoeddiad trwy 'r
gwerssyll yng-hylch machludiad yr haul, gan
ddywedyd, [Eled] pob un iw ddinas, a phob
un iw wlad ei hun.
37 ᵗ Felly y bu farw 'r brenin, ac y daeth efe
i Samaria: a'r [Israeliaid] a gladdasant y bre-
nin yn Samaria.
38 ᵘ Yna y golchwyd ei gerbyd ef yn llynn
Samaria, a'r cŵn a lyfasant ei waed ef, (yr ar-
fau hefyd a olchwyd) yn ol gair yr Arglwydd
yr hwn a lefarase efe.
39 ᵛ A'r rhan arall o hanesion Ahab, a'r hyn
oll a wnaeth efe, a'r tŷ ifori 'r hwn a adailadodd
efe, a'r holl ddinasoedd y rhai a adailadodd efe:
onid ydynt hwy yn scrifennedic yn llyfr Cro-
nicl brenhinoedd Israel?
40 ʷ Felly Ahab a hunodd gyd ai dadau: ac
Ahazia ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.
41 ˣ Ac Iehosaphat mab Asa a aethe yn fre-
nin ar Iuda yn y bedwaredd flwyddyn i Ahab
brenin Israel.
42 ʸ Iehosaphat [oedd] fab pymthengmlwydd
ar hugain pan aeth efe yn frenin, a phum
mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn Ier-
usalem: ac enw ei fam ef [oedd] Azuba merch
Silhi.
43 ᶻ Ac efe a rodiodd yn holl ffordd Asa ei
dad, ni ledpeiodd efe oddi wrthi hi, gan wneuth-
ur yr hyn oedd inion yng-olwg yr Arglwydd.
44 ᵃ Er hynny ni thynnwyd ymmaith yr uch-
elfeudd, y bobl oeddynt etto yn offrymmu, ac
yn arogldarthu yn yr uchelfeudd.
45 ᵇ Ac Iehosaphat a heddychodd a brenin
Israel.
46 ᶜ A'r rhan arall o hanes Iehosaphat, ai
rymmysdra yr hwn a wnaeth efe, a'r modd yr
ymladdodd efe: onid ydynt hwy yn scrifenned-
ic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?
47 ᵈ A'r rhan arall o'r Sodomiaid a'r a ada-
wyd yn nyddiau Asa ei dad ef: efe ai deleodd

Left margin notes: Esa. 6, 1; Dan. 7, 9; Sal 103, 20, 21; Dan 7, 10; 1 Cor. 12; Thes. 2, 11; Ioan 8, 44; Act 12, 9; 2 Thes. 2, 9; Sal. 109; Esa. 16; Act 16, 3; Luc 14; Num. 1; 2 Cron. 18, 23; Thef. 7; 2 Cron. 18, 25; 1 Cron. 31; 2 Cron. 18, 26; Dent. 18, 21; Esa 1, 1; 2 Cron. 18, 28; Pen 14; 20, 38; Ier. 16.

Right margin notes: p 2 Cron 18, 31; Diar. 13, 20; Pen 18, 20; 2 Bren 2, 12; Ex. 14, 15; 2 Cron. 18, 31; q 2 Sam. 15, 16; * 2 Cron. 18, 33; 2 Bren. 1, 2; r 2 Cron 18, 34; s 2 Sam. 18, 16; Pen. 12, 16; t 1 Cron. 18, 34; Pen. 16, 24; u Pen. 21, 19; v Pen 21; 41 a 14, 19; w Pen. 2, 10; x 2 Cron. 20, 31; y 2 Bren. 1, 17; a 8, 16; Pen 14, 21; a 15, 10; z 2 Cron. 15, 10; a 17, 3; Lef. 26, 30; Pen. 15, 14; a 2 Cron. 19, 2; 2 Cor. 6, 14; 2 Cro. 19, 2; Heb. 12, 14; b Pen. 14, 29; c Pen. 15, 12; d Gen. 23, 23 a 27, 40; 2 Sam. 8, 14; 2 Bren 8, 20

hwynt o'r wlad.
e Pen 10, 22 2 Cron 20, 36 — 48 e Yna nid [oedd] brenin yn Edom: [oond]
duwc oedd yn lle brenin
Pen 9, 26 * 2 Cron 20, 35, 37 — 49 Iehosaphat a wnaeth longau môr i fyned
i Ophir am aur, ond nid aeth efe, * canys y llong-
au a ddrylliasant yn Ezion Gaber.
f Pen 2, 10 — 50 f Yna y dywedodd Ahazia mab Ahab wrth
Iehosaphat, Eled fyng-weision i gyd a'th weis-
ion di yn y llongau: ond ni fynne Iehosaphat.
g Pen 15, 2 2 Bren. 1, 17 — 51 g Ac Iehosaphat a hunodd gyd ai dadau,
ac a gladdwyd gyd ai henafiaid yn ninas Daf-
ydd ei dad: ac Ioram ei fab ef a deyrnasodd
yn ei le ef.

52 h Ahazia mab Ahab a aeth yn frenin ar
Israel yn Samaria yn y ddwyfed flwyddyn ar
bymthec i Iehosaphat brenin Iuda: ac efe a
deyrnasodd ar Israel ddwy flynedd.
53 i Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg
yng-olwg yr Arglwydd: ac a rodiodd yn ffordd
ei dad, ac yn ffordd ei fam, ac yn ffordd
Ieroboam mab Nabat, yr hwn a wnaeth i Is-
rael bechu.
54 Canys efe a wasanaethodd Baal, ac a
ymgrymmodd iddo ef: ac a ddigiodd Arglwydd
Dduw Israel, yn ol yr hyn oll a wnaethe ei dad ef.

# YR AIL LLYFR
## O'R
# BRENHINOEDD.

## PENNOD. I.

*Elias yn ceryddu Ahazia am ymgynghori a Baal zebub. 10 Tân o'r nefoedd yn llosci dau o'r capteniaid y rhai a yrrasid i gyrchu Elias. 17 Ac Ioram mab Ahab yn teyrnasu yn lle Ahazia.*

a 2 Sam. 8, 2 a 1 Bren 12, 19 Pen 3, 3, 4 a 3, 5 — YNA * a Moab a wrthryfelodd yn erbyn
Israel, wedi marwolaeth Ahab.
2 b Ac Ahazia a syrthiodd drwy fenestr ddellt
oi loft yr hon [oedd] yn Samaria, ac a glafych-
b 1 Bren 22, 34 1 Cron 3, 2, 3 Ios. 15, 45 1 Sam. 5, 10 — odd: am hynny efe a anfonodd gennadau, ac
a ddywedodd wrthynt, Ewch, ac ymofynnwch
a Baal-zebub duw Ecron, a fyddafi byw o'r
clefyd hwn.
3 c Ac angel yr Arglwydd a ddywedodd wrth
c 1 Bren. 17, 1 a 14, 2 — Elias y Thesbiad, Cyfod, dos i fynu i gyfarfod
a chennadau brenin Samaria: a dywet wrthynt,
Ai am nad [oedd] Duw yn Israel yr ydych chwi yn
myned i ymgynghori a Baal-zebub duw Ecron:
4 d Ac am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
d 1 Bren 18, 19 Pen 4, 25 — glwydd, Ni ddescynni o'r gwely 'r hwn y dring-
aist arno, eithr gan farw y byddi farw: felly El-
ias a aeth ymmaith.
5 Pan ddychwelodd y cennadau atto ef: efe
a ddywedodd wrthynt hwy, Paham y dych-
welasoch chwi?
6 A hwynt a ddywedasant wrtho, Gŵr a ddaeth
i fynu i'n cyfarfod ni, ac a ddywedodd wrthym
ni, Ewch, dychwelwch at y brenin yr hwn
a'ch anfonodd chwi, a lleferwch wrtho ef, Fel
hyn y dywedodd yr Arglwydd, Ai am nad [oes]
Duw yn Israel yr ydwyt ti yn anfon i ym-
gynghori a Baal-zebub duw Ecron: o herwydd
hynny ni ddescynni o'r gwely yr hwn y dring-
aist arno, eithr gan farw y byddi farw.
7 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddull
[oedd ar] y gwr yr hwn a ddaeth i fynu i'ch
cyfarfod chwi, ac a lefarodd wrthych yr ymad-
roddion ymma?
8 e Ac a hwy a ddywedasant wrtho ef, Gŵr
blewog oedd efe, wedi ymwregyssu hefyd a
gwregys croen am ei lwynai: yna dywedodd
yntef, Elias y Thesbiad [oedd] efe.
9 f Yna efe a anfonodd atto ef dywysog ar
ddec a deugain gyd ai ddec a deugain: yr hwn
a aeth i fynu atto ef, (ac wele ef yn eistedd ar
ben y mynydd) ac a lefarodd wrtho ef, O ŵr [i]
Dduw, y brenin a lefarodd, Tyret i wared.
10 g Ac Elias a attebodd, ac a ddywedodd
wrth dywysog y dêc a deugain, Os gŵr Duw
ydwyfi, descynned tân o'r nefoedd, ac yssed di,
a'th ddec a deugain: felly tân a ddescynodd o'r
nefoedd, ac ai hyssodd ef, ai ddec a deugain.
11 h A'r [brenin] a anfonodd eilwaith atto ef
dywysog dec a deugain arall, ai ddec a deugain:
ac efe a lefarodd, ac a ddywedodd, O ŵr Duw,
fel hyn yr archodd y brenin, Tyret i wared yn
ebrwydd.
12 Ond Elias a attebodd, ac a ddywedodd
wrthynt hwy, Os gwr Duw ydwyfi, descynned
tân o'r nefoedd, ac yssed di a'th ddec a deugain:
felly tân Duw a ddescynnodd o'r nefoedd, ac ai
hyssodd ef, ai ddec a deugain.
13 i [Y brenin] gan hynny a anfonodd etto y
trydydd tywysog [ar] ddec a deugain, ai ddec a
deugain: a'r trydydd tywysog [ar] ddec a deu-
gain a aeth i fynu, ac a ddaeth, ac a ymgrym-

modd ar ei liniau ger bron Elias, ac a ymbil-
iodd ag ef, ac a lefarodd wrtho ef, O wr Duw,
attolwg bydded fy enioes i, ac enioes dy ddec
gwas a deugain hyn yn werthfawr yn dy olwg di.
14 Wele descynnodd tân o'r nefoedd, ac yssodd
y ddau dywysog gyntaf ar ddec a deugain, ai
dec a deugain: ond yn awr bydded fy enioes
i yn werthfawr yn dy olwg di.
j Num. 22, 25, 41 15 j Ac angel yr Arglwydd a lefarodd wrth
Ier. 1, 12 Elias, Dos i wared gyd ag ef, nac ofna rhac ei
Ezec 1, 6 wyneb ef: felly efe a gyfododd, ac a aeth i wared
gyd ag ef at y brenin.
k 1 Bren 2, 24, 16 k Ac efe a ddywedodd wrtho ef, Fel hyn y
dywedodd yr Arglwydd, O herwydd it' anfon
cennadau i ymgynghori a Baal-zebub duw Ec-
ron (ai am nad [oes] Duw yn Israel i ymgyng-
hori ai air [yr anfonaist?]) am hynny ni ddes-
cynni o'r gwely'r hwn y dringaist arno, eithr
gan farw y byddi farw.
l ...en. 3, 1 17 l Felly efe a fu farw yn ol gair yr Arg-
Bren. 1, 2. 22, lwydd yr hwn a lefarase Elias: ac Ioram a deyr-
...en. 3, 1 nasodd yn ei le ef, yn yr ail flwyddyn i Ioram
fab Iehosaphat brenin Iuda: canys nid oedd
mab iddo ef.
18 A'r rhan arall o hanes Azaria, y rhai a
wnaeth efe: onid ydynt hwy yn scrifennedic yn
Bren. * llyfr Cronicl breninoedd Israel?

## PEN. II.

*1 Elias heb gael gan Eliseus ymadael ag ef, yn rhwygo yr Iorddonen ai fantell, ac yn myned i'r nefoedd. 13 Eliseus wedi cael mantell Elias yn hollti yr Iorddonen ac yn gwneuthur y dwfr yn beraidd. 23 Destrywo y bechgyn y rhai a watwarasent Eliseus.*

...en 5, PAN m oedd yr Arglwydd ar gymmeryd i
...ren. 19 fynu Elias mewn corwynt i'r nefoedd: yna
... 5, 9 yr aeth Elias ac Eliseus allan o Gilgal.
...uc 24, 29 2 n Ac Elias a ddywedodd wrth Eliseus, Eis-
...ren 22, 29 tedd attolwg ymma, canys yr Arglwydd a'm
...am. 1, hanfonodd hyd Bethel, ond Eliseus a ddywed-
5, 26 odd, [Fel] mai byw yw yr Arglwydd, ac mai
...am. 14, byw dy enaid tithe nid ymadawaf a thi: felly
hwynt a ddaethant i wared i Bethel.
Bren. 4 3 o Yna meibion y prophwydi y rhai [oeddynt]
20, 35 yn Bethel a aethant allan at Eliseus, ac a ddy-
...h. 11, 5 ...t 22, 3 wedasant wrtho ef, A wyddosti mai heddyw y
...ut. 33 mae'r Arglwydd yn dwyn dy feistr di oddi ar-
...n. 4, 38 nat? dywedodd yntef, Mi a wn [hynny] hefyd,
tewch a son.
...os. 18 4 p Elias a ddywedodd eilwaith wrtho ef, Eis-
...ren. 16 tedd ymma attolwg Eliseus, canys yr Arglwydd
a'm hanfonodd i Iericho, dywedodd yntef, [Fel]
mai byw'r Arglwydd, ac mai byw dy enaid
tithe nid ymadawaf a thi: felly hwynt a ddaeth-
ant i Iericho.
5 Yna meibion y prophwydi y rhai [oeddynt]
yn Iericho a nessanasant at Eliseus, ac a ddy-
wedasant wrtho ef, A wyddosti mai heddyw y
mae'r Arglwydd yn dwyn dy feistr di oddi ar-
nat? yntef a ddywedodd, Minne a wn [hynny]
tewch a son.
6 q Etto Elias a ddywedodd wrtho ef, Eistedd q Ruth 1, 15
ymma attolwg, canys yr Arglwydd a'm hanfon-
odd i'r Iorddonen, dywedodd yntef, [Fel] mai
byw'r Arglwydd, ac mai byw dy enaid tithe,
nid ymadawaf a thi: yna hwynt a aethant ym-
maith ill dau.
7 r A deng-wr a deugain o feibion y proph- r Ex. 14, 21
wydi a aethant, ac a safasant ar gyfer o bell: a Ios. 3, 16
hwynt ill dau a safasant wrth yr Iorddonen. Adn 14
8 s Yna Elias a gymmerth ei fantell, ac ai ply- s 1 Bren. 19, 13.
godd, ac a darawodd y dyfroedd, a hwynt a Ex. 14, 21, 22
ymwahanasant ymma ac accw, fel yr aethant Ios. 3, 17
hwy trwodd ill dau ar hyd sych [dir.]
9 t A phan aethant hwy trwodd, yna Elias a t 1 Bren. 3, 5
ddywedodd wrth Eliseus, Gofyn beth a wnafi i Act. 8, 17
ti cyn fyng-hymmeryd i oddi wrthit ti: a dy-
wedodd Eliseus, Bydded gan hynny attolwg
ddau cymmaint o'th yspryd ti gyd a mi. h Act. 16, 10
10 u Dywedodd yntef, Gofynnaist beth an- Pen 6, 17
hawdd: os gweli fi wedi fyng-hymmeryd oddi Heb. 1, 14
wrthit ti fe fydd it felly, ac onid ê ni bydd. Sal. 104, 4 Heb, 9, 8
11 u A phan oeddynt hwy yn myned gan rodio a 11, 5
ac ymddiddan, yna wele gerbyd tanllyd, a Marc 16, 19
meirch tanllyd, ac hwy a wnaethant wahaniaeth
rhyngddynt ill ddau: felly Elias a dderchafodd
mewn corwynt i'r nefoedd.
12 v Ac Eliseus oedd yn edrych, ac efe a lefodd v 1 Bren. 22, 32
Fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel ai marchogion, Diar 14,
ac nis gwelodd ef mwyach: ac efe a ymaflodd a 29, 8 Act. 1, 3
yn ei ddillad, ac ai rhwygodd yn ddau-ddarn.
13 Ac efe a gododd i fynu fantell Elias, yr
hon a syrthiase oddi am dano ef: ac efe a ddych-
welodd, ac a safodd wrth fin yr Iorddonen.
14 Yna efe a gymmerth fantell Elias yr hon a
syrthiase oddi am dano ef, ac a darawodd y
dyfroedd, ac a ddywedodd, Pa le [y mae] Ar-
glwydd Dduw Elias? ac yntef hefyd? efe a dara-
wodd y dyfroedd eilwaith, a hwynt a wahan-
wyd ymma, ac accw, felly Eliseus a aeth trwodd.
15 w Pan welodd meibion y prophwydi (y rhai w 1 Thes. 5, 17
[oeddynt] yn Iericho) ef ar [eu] cyfer, yna y dy- Pen. 4, 37
wedasant hwy, gorphywysodd yspryd Elias ar 1 Bren 13, 18
Eliseus: a hwynt a ddaethant iw gyfarfod ef,
ac a ymgrymmasant hyd lawr iddo ef.
16 A hwy a ddywedasant wrtho ef, Wele yn
awr y mae gyd a'th weision ddec a deugain
o wŷr nerthol, elant yn awr a cheisiant
dy feistr rhac i ysbryd yr Arglwydd ei ddwyn
ef ai fwrw ef ar ryw fynydd, neu mewn rhyw
ddyffryn: dywedodd yntef, Nac anfonwch.
17 x Etto buant daer arno ef nes cywilyddio x Gal. 4, 18
[o honaw ef,] am hynny, y dywedodd efe, An- Tit. 2, 14
fonwch: yna hwynt a anfonasant ddeng-wr a 1 Cor. 9, 24
deugain y rhai ai ceisiasant dridiau, ond nis Rhuf 10, 2
cawsant ef.

18 Am hynny hwynt a ddychwelasant atto ef, ac efe oedd yn trigo yn Iericho: ac ef a ddywedodd wrthynt hwy, Oni ddywedais i wrthych, nac ewch ymmaith?

ySal. 48, 2 Num. 13, 20 — 19 y Yna gwŷr y ddinas a ddywedasant wrth Eliseus, Wele attolwg ansawdd y ddinas, da yw fel y mae fy arglwydd yn gweled: ond dyfroedd drwg, a thir diffaith [sydd ymma.]

zBarn. 9, 45 — 20 z Ac efe a ddywedodd, Dygwch i mi phiol newydd, a gosodwch ynddi halen: a hwynt ai dugasant atto ef.

aDiar. 10, 28 — 21 a Yna efe a aeth at ffynhonnell y dyfroedd ac a fwriodd yr halen yno, ac a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Mi a iacheais y dyfroedd hyn, ni bydd oddi yno farwolaeth mwyach na diffrwythdra,

22 Felly 'r iachauwyd y dyfroedd hynny hyd y dydd hwn: yn ol gair Eliseus yr hwn a ddywedase efe.

bHos. 4, 15 Amos 5, 5 Ier, 7, 18 Diar. 20, 11 a 22, 6, 15 Gen. 21, 9 Gal 4, 29 Heb. 11, 36 — 23 b Ac efe a aeth i fynu oddi yno i Bethel: pan oedd efe yn myned i fynu ar hyd y ffordd, yna'r plant bychan a aethant allan o'r ddinas ac ai gwatworasant ef, ac a ddywedasant wrtho ef, Dos i fynu moelun, Dos i fynu moelun.

c 2Cron. 14, 11 Col. 3, 17 Deut. 18, 19 — 24 c Ac efe a drodd yn ei ol, ac a edrychodd arnynt hwy, ac ai melldithiodd hwynt yn enw 'r Arglwydd: a dwy arth a ddaethant allan o'r goedwic, ac a ddrylliasant o honynt ddau blentyn a deugain.

2 Cron. 33, 18 Ioan 5, 43 Sal. 44, 5 a 63, 4 2Cor. 10, 6 d 1 Bren 18, 19 — 25 d Felly efe a aeth oddi yno i fynydd Carmel: ac oddi yno efe a ddychwelodd i Samaria.

## PEN. III.

*Iehosaphat yn cynnorthwyo Ioram yn ei ryfel yn erbyn Moab. 13 Eliseus yn rhoddi dwfr iw llu hwynt. 24 Ioram yn gorchfygu y Moabiaid, ac yn aberthu ei fab.*

e 1 Bren. 22, 51 Pen 1, 17 a 8, 6 — AC e Ioram mab Ahab a aeth yn frenin ar Israel yn Samaria, yn y ddeu-nawfed flwyddyn i Iehosaphat brenin Iuda: ac efe a deyrnasodd ddeuddeng mlynedd.

f 1 Bren. 16, 33 a 21, 25 a 16, 31, 32 Pen 9, 22 — 2 f Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd, ond nid fel ei dad ai fam: canys efe a fwriodd ymmaith ddelw Baal yr hon a wnelse ei dad ef.

gPen 10, 31 Marc 6, 10 — 3 g Etto efe a lynodd mewn pechodau Ieroboam mab Nabat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu: ni chiliodd efe oddi wrthynt hwy.

Sal. 119, 6 2 Bren. 12, 24 a 16, 19 hEsa. 16, 1 — 4 h Yna Mesaa brenin Moab oedd berchen defaid, ac efe a dalodd i frenin Israel gan-mil o ŵyn, a chan-mil o hyrddod gwlanoc.

Pen 8, 1, 20 iPen 1, 1 — 5 i A phan fu farw Ahab: yna brenin Moab a wrthryfelodd yn erbyn brenin Israel.

j 2 Sam. 24, 1 — 6 j Am hynny y brenin Ioram a aeth allan y pryd hynny o Samaria: ac a gyfrifodd holl Israel.

* 1 Bren. 22, 4, 32 — 7 Efe a aeth hefyd, ac a anfonodd at Iehosaphat brenin Iuda, gan ddywedyd, Brenin Moab a wrthryfelodd i'm herbyn i, * a ddeui di gyd a mi i ryfel yn erbyn Moab? dywedodd yntef, Af i fynu, myfi [a fyddaf] fel tithe, fy mhobl i fel dy bobl dithe, fy meirch i fel dy feirch dithe.

8 Yna efe a ddywedodd, Pa ffordd yr awn i fynu? dywedodd yntef, [Ar hyd] ffordd anialwch Edom.

9 Felly brenin Israel a aeth ymmaith, a brenin Iuda, a * brenin Edom, ac a amgylchasant y ffordd saith niwrnod: ac nid oedd dwfr i'r fyddin, nac i'r anifeiliaid y rhai [oeddynt] yn eu canlyn hwynt.

10 k Am hynny brenin Israel a ddywedodd, Gwae [fi] o herwydd i'r Arglwydd alw y tri brenin hyn i'w rhoddi hwynt yn llaw Moab.

11 l Ac Iehosaphat a ddywedodd, Onid [oes] ymma brophwyd i'r Arglwydd fel yr ymgynghorem ni a'r Arglwydd drwyddo ef? ac un o weision brenin Israel a attebodd, ac a dywedodd, [Y mae] ymma Eliseus mab Saphat yr hwn a dywalltodd ddwfr ar ddwylo Elias.

12 m Yna Iehosaphat a ddywedodd, Y mae gair yr Arglwydd gyd ag ef: am hynny brenin Israel ac Iehosaphat, a brenin Edom a aethant i wared atto ef.

13 n Ac Eliseus a ddywedodd wrth frenin Israel, Beth [sydd] i mi [a wnelwyf] a thi? Dos at brophwydi dy dad, ac at brophwydi dy fam: a brenin Israel a ddywedodd wrtho ef, Na-gê: canys yr Arglwydd a alwodd y tri brenin hyn i'w rhoddi hwynt yn llaw Moab.

14 o Yna Eliseus a ddywedodd, [Fel] mai byw Arglwydd y lluoedd, yr hwn y sefais ger ei fron, oni bai fy mod i yn perchi wyneb Iehosaphat nid edrychaswn i arnat ti, ac ni'th welswn.

15 p Ond yn awr dygwch i mi gerddor, a phan ganodd y cerddor, yna y daeth llaw'r Arglwydd arno ef.

16 q Ac efe a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Gwna y dyffryn hwn yn llawn ffosydd.

17 r Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Ni welwch wynt, ac ni welwch law, etto y dyffryn hwn a lenwir o ddyfroedd: fel yr yfoch chwi, a'ch ysgrubliaid, a'ch gwartheg.

18 A pheth yscafn yw hyn yng-olwg yr Arglwydd: canys efe a ddyru Moab yn eich llaw chwi.

19 s A chwi a darewch bob dinas gaeroc, a phob dinas ddetholedic, a phob prenn têg a fwriwch chwi i lawr, yr holl ffynhonnau dyfroedd hefyd a argaewch chwi: a phob rhan-dir ddâ a ddifwynwch chwi a cherric.

20 t A'r boreu pan offrymmwyd y bwyd offrwm, yna wele ddyfroedd yn dyfod o ffordd Edom: a'r wlad a lawnwyd o ddyfroedd.

21 Pan glybu'r holl Moabiaid fod y brenhinoedd hynny wedi dyfod i fynu i ymladd yn eu

herbyn hwynt: yna y galwyd yng-hyd bawb ar
a alle wisco arfau, a hwy a safasant ar y terfyn.
22 A hwynt a gyfodasant yn foreu, a'r haul a
gyfodase ar y dyfroedd: a'r Moabiaid a ganfu-
ant ar [eu] cyfer y dyfroedd yn gôch fel gwaed.
23 A hwy a ddywedasant, Gwaed [yw] hwn,
gan ddifetha y difethwyd y brenhinoedd, a hwy
a darawsant bawb ei gilydd: am hynny [awn]
yn awr i'r anrhaith O Moabiaid.
24 Pan ddaethant at werssyll Israel, yna'r
Israeliaid a gyfodasant, ac a darawsant y Moab-
iaid fel y ffoasant hwy oi blaen hwynt: taraw-
sant hefyd arnynt hwy, a lladdasant y Moabiaid.
25 A hwynt a ddestruwiasant y dinasoedd,
ac [i] bob rhan-dir ddâ y bwriasant bawb ei gar-
reg, ac ai llanwasant, a phob ffynnon ddwfr a
argaeasant hwy, a phob prenn têg a gwympas-
ant hwy ei lawr, yn unic yn Cir-hareseth y gad-
awsant ei cherric: etto y rhai oeddynt yn taflu
[cerric] ai hamgylchynasant ac ai tarawsant hi.
26 Pan welodd brenin Moab fod y rhyfelwŷr
yn drêch nag ef: yna efe a gymmerth saith gant
o wŷr gyd ag ef yn tynnu cleddyf i ruthro at
frenin Edom, ond nis gallasant hwy
27 Ond efe a gymmerodd ei fab [sef] y cynt-
af anedic yr hwn oedd i deyrnasu yn ei le ef, ac
ai hoffrymmodd ef yn boeth offrwm ar y mur,
fel y bu llid mawr yn erbyn Israel: am hynny
hwynt a aethant ymmaith oddi wrtho ef, ac a
ddychwelasant iw gwlad.

## PEN. IV.

*Eliseus yn cael i wraig weddw ddyledog olud mawr o olew trwy rad penllâd. 12 Ac yn cael i'r Sunamites yr un mab ddwy waith. 40 Yn perciddio y cawl, a thrwy rad penllâd yn amlhau y bara.*

AR RHYW wraig o wragedd meibion y pro-
phwydi a lefodd ar Eliseus gan ddywed-
yd, Dy wâs di, [sef] fyng-ŵr man fi a fu farw, a
thi a wyddost fod dy wâs di yn ofni yr Ar-
glwydd: a'r echwyn-wr a ddaeth i gymmeryd ym-
maith fy nau fab i [i fod] yn weision iddo ef.
2 Yna Eliseus a ddywedodd wrthi hi, Beth a
wnaf i ti? mynega i mi, beth sydd gennit ti yn
[dy] dŷ? dywedodd hithe, Nid [oes] dim gan dy
law-forwyn yn tŷ onid ystênaid o olew.
3 Ac efe a ddywedodd, Dos, cais it lestri oddi
allan gan dy holl gymmydogion: [sef] llestri
gweigion nid ychydig.
4 Pan ddelech i mewn, yna cau di'r drws
arnat, ac ar dy feibion, a thywallt i'r holl lestri
hynny: a phâr dynnu ymmaith yr hwn [a fyddo]
llawn.
5 Felly hi a aeth ymmaith oddi wrtho ef, ac
a gaeodd y drws arni hi, ac ar ei meibion: hwynt-
hwy a ddygasant atti hi, a hithe a dywalltodd.

Pen. IV. adn. 1.] "Yn ofni'r Arglwydd." Dyma bregethwr duwiol wedi myned yn dlawd, eisiau cydymffurfio â chrefydd y cnawd—addoliad y lloi. Gwae'r byd o blegid rhwystrau!



6 A phan lawnwyd y llestri, yna hi a ddyw- bMat. 1
edodd wrth ei mab, Dŵg etto attafi lestr, dy- 20 Ioan 6,13
wedodd yntef wrthi hi, Nid [oes] mwyach [un]
llestr: a'r olew a beidiodd.
7 Yna hi a ddaeth, ac a fynegodd i ŵr Duw; cLuc 17,
dywedodd yntef, Dos, gwerth yr olew, a thâl 15 Sal. 37, 21
dy ddyled: a bydd di fyw ti a'th feibion ar y Eph. 5, 20
rhan arall.
8 Ac Eliseus a drammwyodd ryw ddiwrnod d1Bre. 1
i Sunem, ac yno ['r oedd] gwraig oludog yr 3 Diar. 18,
hon ai cymhellodd ef i fwytta bara: a chynnifer 10, 11
gwaith ac y tramwye efe heibio, efe a droe yno
i fwytta bara.
9 A hi a ddywedodd wrth ei gŵr, Wele yn e1Pedr 3,
awr mi a wn mai gŵr Duw sanctaidd [ydyw] yr 1 Mat. 6, 10
hwn sydd yn cynniwer heibio i ni yn oestadol. 1Tim. 3, 2
10 Gwnawn yn awr stafell gaeroc fechan, a fIos. 2, 15
gosodwn iddo yno wely, a bwrdd, a mainge, a Rhuf. 12,
chanhwyll-bren: fel y tro efe yno, pan ddelo efe 13 Heb. 13, 1
attom ni. 1Pedr. 4, 9
11 Ac ar ddydd-cwaith efe a ddaeth yno: ac
a drôdd i'r stafell, ac a orphywysodd yno.
12 Ac efe a ddywedodd wrth Gehezi ei langc,
Galw ar y Sunamites hon: yntef a alwodd arni
hi, hithe a safodd ger ei fron ef.
13 Dywedodd hefyd wrtho ef, Dywet yn awr gLuc 10,
wrthi hi, Wele ti a ofelaist trosom ni a'r holl ofal 40 1Thes. 5,
ymma, beth [a fynni di] ei wneuthur i ti? 12, 13 Pen. 3, 16
a oes [dim ar a fynnech] di ei ddywedyd wrth y 1Tim. 6, 8
brenin, neu wrth dywysog y llu: hithe a ddy-
wedodd, Yng-hanol fy mhobl yr ydwyf yn trigo.
14 Yna y dywedodd [Eliseus,] Beth gan hGen. 5,
hynny [sydd] iw wneuthur erddi hi? a Gehezi a 11
ddywedodd, Diau nad [oes] iddi fab, ai gŵr
[sydd] hên
15 Am hynny efe a ddywedodd, Galw am iGen. 8
dani hi; ac efe a alwodd a'm dani hi, ac y hi a 10
safodd yn y drws.
16 Ac efe a ddywedodd, Yn yr amser noded- *Gen. 8
ic hwnnw wrth amser bywioliaeth, ti a gofleidi 10, 14
fab: hithe a ddywedodd, Na-ge fy arglwydd gŵr
Duw, na ddywet gelwydd i'th law-forwyn.
17 Felly y wraig a feichiogodd, ac a ymddug jHeb. 10,
fab wrth yr amser nodedic hwnnw, yn ol am- 6 Mat. 10,
ser bywioliaeth, yr hwn a lefarase Eliseus 41 1Sam. 1,
wrthi hi. 19
18 A'r bachgen a gynyddodd: ac a aeth ddydd-
cwaith allan at ei dâd, [ac] at y medelwyr.
19 Ac efe a ddywedodd wrth ei dad, Fy kIer. 4, 19
mhen, fy mhen [sy'n dolurio;] dywedodd yntef 1Bren. 8, 13
wrth ryw langc, Dŵg ef at ei fam. 1Tim. 5, 10, 14
20 Ac efe ai cymmerth, ac ai dug ef at ei lGen. 22,
fam; ac efe a eisteddodd ar ei gliniau hyd han- 2 a 37, 5 Eze c. 24
ner dydd, ac a fu farw. 16, 21
21 Yna hi a aeth i fyno, ac ai gosododd ef i m Heb.
orwedd ar wely gŵr Duw; ac a gaeodd [y 11, 35
drws] arno ef, ac a aeth allan.

n Jer. 51, 31 1 Bren. 17, 21 22 [n] A hi a alwodd ar ei gwr, ac a ddywedodd, Anfon attolwg gyd â mi un o'r llangciau, ac un o'r assynod: canys mi a redaf hyd at ŵr Duw, ac a ddychwelaf.

o 1 Cron. 23, 31 2 Tim. 4, 2 Diar. 8, 34 23 [o] Dywedodd yntef, Pa ham yr ydwyt ti yn myned atto ef heddyw? nid [yw hi] yn newydd-loer, nac yn Sabboth: hithe a ddywedodd, Pob peth yn dda.

p 1 Bren. 13, 23 24 [p] Yna hi a gyfrwyodd yr assyn, ac a ddywedodd wrth ei llangc, Gyrr, a dos ymmaith; gan farchogeth, nac aros am danaf onid archwyf it.

q 1 Bren. 18, 19 25 [q] Felly hi a aeth, ac a ddaeth at ŵr Duw i fynydd Carmel: a phan welodd gŵr Duw hi o bell, yna efe a ddywedodd wrth Gehezi ei langc, Wele y Sunamites honno:

26 Rhed yn awr attolwg iw chyfarfod, a dywed wrthi hi, A ydwyt ti yn llawen? a ydyw dy ŵr yn llawen? a ydyw dy fachgen yn llawen? dywedodd hithe, Llawen.

r Mat. 28, 9 a 15, 23 2 Sam. 7, 3 Pen. 6, 12 27 [r] Pan ddaeth hi at ŵr Duw i'r mynydd, yna hi a ymaflodd yn ei draed ef: a Gehezi a nessaodd iw gwthio hi ymmaith, ond gŵr Duw a ddywedodd, Gad ti hi yn llonydd, canys ei henaid sydd ofidus ynddi, a'r Arglwydd a gelodd [hyn] oddi wrthifi, ac nis mynegodd i mi.

t Gen. 30, 1 28 [t] Yna hi a ddywedodd, A ddymunais i fab gan fy arglwydd? oni ddwedais, Na thywlla fi.

u Pen. 9, 1 Act. 19, 12 Pen 2, 8 * Luc. 10, 4 29 [u] Yna efe a ddywedodd wrth Gehezi, Gwregysa dy lwynau, a chymmer fy ffonn yn dy law, a dos ymmaith, o chyfarfyddi a neb na * chyfarch iddo, ac o chyfarch neb di nac atteb ef: a gosot fy ffon i ar wyneb y bachgen.

v 1 Cor 9, 21 30 [v] A mam y bachgen a ddywedodd, [Fel] mai byw'r Arglwydd, ac mai byw dy enaid ti nid ymadawaf a thi: yna efe a gyfododd ac a aeth ar ei hol hi.

w Mat. 17, 19, 20 Esa. 26, 10 18, 19 31 [w] A Gehezi a gerddodd oi blaen hwynt ac a osododd y ffon ar wyneb y bachgen, ond nid ymadroddE, ac ni chlywe efe: am hynny efe a ddychwelodd iw gyfarfod ef, ac a fynegodd iddo gan ddywedyd, Ni ddeffrodd y bachgen.

32 Yna Eliseus a ddaeth i mewn i'r tŷ: ac wele y bachgen wedi marw yn gorwedd ar ei wely ef.

y 1 Bren. 17, 20 Iago 5, 17, 18 33 [y] Felly efe a ddaeth i mewn, ac a gaeodd y drws arnynt ill dau: ac a weddiodd ar yr Arglwydd.

* Act. 20, 10 1 Bren. 17, 21 Rhuf. 12, 11 34 Yna efe * a aeth i fynu, ac a orweddodd ar y bachgen, gosododd hefyd ei enau ar ei enau yntef, ai lygaid ar ei lygaid ef: ai ddwylaw ar ei ddwylaw ef, ac efe a ymestynnodd arno ef, fel y cynhesodd cnawd y bachgen.

35 Ac efe a ddychwelodd, ac a rodiodd ar hyd y tŷ i fynu ac i wared, yna efe aeth i fynu ac a ymestynodd arno ef: a'r bachgen a disiodd hyd yn saith-waith, yna 'r bachgen a agorodd ei lygaid.

36 [z] Ac efe a alwodd ar Gehezi, ac a ddywedodd, Galw ar y Sunamites hon; yna efe a alwodd arni hi, a hi a ddaeth atto ef: dywedodd yntef, Cymmer dy fab. z 1 Bren. 17, 23

37 [a] A hi a ddaeth, ac a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ymgrymmodd i lawr: ac a gymmerodd ei mab, ac a aeth allan. a Pen. 8, 5

38 [b] Yna Eliseus a ddychwelodd i Gilgal: a [bu] newyn yn y wlad, a meibion y prophwydi oeddynt yn aros oi flaen ef: ac efe a ddywedodd wrth ei langc, Trefna y crochan mawr, a berw gawl i feibion y prophwydi. b Act. 8, 38 Pen. 2, 1 Ezec. 8, 1 Act. 22, 3 Pen. 2, 3 Luc. 10, 39 Diar. 6, 34

39 [c] Ac un a aeth allan i'r maes i gasclu bresech, ac efe a gafodd winwydden wyllt, ac a gasclodd o honi fresech gwylltion lonaid ei wisc: ac a ddaeth, ac ai briwodd yn y crochaned cawl: canys nid adwaenent [hwynt.] c Tim. 1, 7 2 Tim. 3, 6 Mat. 15, 13 a 15, 14

40 [d] Yna y tywalltasant i'r gwŷr i fwytta: a phan fwyttasant o'r cawl, yna hwynt a waeddasant, ac a ddywedasant, O ŵr Duw [y mae] angau yn y crochan, ac nid allent fwytta. d Ex. 15, 17

41 [e] Yna efe a ddywedodd, Dygwch flawd, ac efe ai bwriodd yn y crochan: dywedodd hefyd, Tywallt i'r bobl fel y bwyttânt, ac nid oedd dim niwed yn y crochan. e Ex. 15, 25

42 [f] A daeth gŵr o Baal Salisa, ac a ddug i ŵr Duw o fara y blaen ffrwyth ugain torth haidd, a thwyssennau irion yn ei col: ac efe a ddywedodd, Dod ti i'r bobl fel y bwyttânt, f 1 Sam. 9, 4 Gal. 6, 6 1 Cor. 9, 11

43 [g] Ai weinidog ef a ddywedodd, I ba beth y rhoddaf hyn ger bron can-wr? dywedodd yntef, Dyro i'r bobl fel y bwyttânt, canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Hwy a fwyttânt ac a weddillir. Diar. Ex. Luc. Ioan

44 [h] Felly efe ai rhoddodd ger eu bron hwynt, a hwynt a fwyttasant, ac a weddilliasant yn ol gair yr Arglwydd. h Mat. 20

## PEN. V.

*1 Yr achlysur, a'r modd yr iachawyd Naaman yn rhad. 20 Gehezi yn chwennychu cael arian a dillad gan Naaman, ac am hynny yn cael gwahan glwyf tragywyddol.*

A [i] NAAMAN tywysog llu brenin Syria oedd ŵr mawr yng-olwg ei arglwydd, ac yn anrhydeddus, canys drwyddo ef y rhoddase yr Arglwydd ymwared i'r Syriaid: etto y gŵr cadarn nerthol hwnnw oedd wahanglwyfus. i Ex. Pen. Esa. 2 Cor. 7 Lef.

2 [j] Pan aethe y Syriaid allan yn finteioedd, yna y caethgludasant o wlad Israel langces fechan: a honno oedd yn gwasanaethu gwraig Naaman. j Sal. 2

3 [k] A hi a ddywedodd wrth ei meistres, O na byddai fy arglwydd i o flaen y prophwyd yr hwn [sydd] yn Samaria: yna efe ai tynne ef ymmaith oi wahanglwyf. k 1 Cor. 1, 27, 28 1 Bren. 34

4 Yntef a ddaeth, ac a fynegodd i'w arglwydd gan ddywedyd, Fel hyn ac fel hyn y dywedodd y llangces yr hon [a ddaeth] o wlad Israel.

5 A ᵐ brenin Syria a ddywedodd, Dos, cerdda ymmaith, a mi a anfonaf lythr at frenin Israel: ac efe a aeth ymmaith, ac a ddug gyd ag ef ddec talent o arian, a chwe mil o aur, a dec o wiscoedd newyddion.

6 Ac efe a ddug y llythr at frenin Israel gan ddywedyd, Yn awr pan ddel y llythr hwn attat ti, wele anfonais attat ti Naaman fyng-was, fel y tynnit ef oi wahan-glwyf.

7 ⁿ A phan ddarllenodd brenin Israel y llythr, yna efe a rwygodd ei ddilled, ac a ddywedodd, Ai Duw [ydwyf] fi i farwhau, ac i fywhau, pan anfone efe attafi i iachau gwr oi wahan glwyf: gwybyddwch gan hynny attolwg, a gwelwch mai ceisio achos y mae efe i'm herbyn i.

8 ᵒ A phan glybu Eliseus gŵr Duw, rwygo o frenin Israel ei ddillad, yna efe a anfonodd at y brenin gan ddywedyd, Paham y rhwygaisti dy wiscoedd? deued efe yn awr attafi, ac efe a gaiff wybod fod prophwyd yn Israel.

9 ᵖ Yna Naaman a ddaeth ai feirch, ac ai gerbydau: ac a safodd [wrth] ddrws tŷ Eliseus.

10 ᑫ Ac Eliseus a anfonodd atto ef gennad gan ddywedyd, Dos, ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen, a'th gnawd a ddychwel i ti; a thi a lanheuir.

11 ʳ Yna Naaman a ddigllonodd, ac a aeth ymmaith: ac a ddywedodd, Mi a feddyliais ynof fy hun gan ddyfod y deue efe allan, ac y safe efe, ac y galwe ar enw yr Arglwydd ei Dduw, ac y gosode efe ei law ar y fann, fel yr iachae efe y [mann] gwahan-glwyfus.

12 Onid gwell yw Abana, a Pharphar afonydd Damascus, na holl ddyfroedd Israel? oni allaf ymolchi ynddynt hwy, ac ymlanhau? felly efe a drodd, ac a aeth ymmaith mewn digter.

13 ˢ Yna ei weision a nessasant, ac a lefarasant wrtho ef, ac a ddywedasant, Fy arglwydd, [pe] dywedase y prophwyd beth mawr wrthit ti onis gwnelsit? pa faint fwy gan iddo ef ddywedyd wrthit, Ymolch, fel yr ymlanhaech?

14 Am hynny efe a aeth i wared, ac a ymdrochodd saith waith * yn yr Iorddonen yn ol gair gŵr Duw: ai gnawd ef a ddychwelodd fel cnawd bachgen bychan, ac efe a lanhauwyd.

15 ᵗ Yna efe a ddychwelodd at ŵr Duw, efe ai holl fintai, ac efe a ddaeth, ac a safodd ger ei fron ef, ac a ddywedodd, Wele yn awr y gwn i nad [oes] Dduw drwy yr holl ddaiar, onid yn Israel; am hynny cymmer yn awr attolwg anrheg oddi gan dy was.

16 ᵘ Ac efe a ddywedodd, [Fel] mai byw yr Arglwydd yr hwn 'r ydwyf yn sefyll ger ei fron ni chymmeraf: ac efe a gymhellodd arno ef [ei] chymmeryd, etto efe ai gwrthododd.

17 A Naaman a ddywedodd, Oni roddir yn awr i'th was di lwyth cwpl o fulod o'r ddaiar [hon:] canys ni offrymma dy was di mwyach boeth offrwm, nac aberth i dduwiau dieithr, onid i'r Arglwydd.

18 Yn y peth hyn yr Arglwydd a faddeuo i'th was; pan ddelo fy arglwydd i dŷ Rimmon i addoli yno, [a phan] bwysso efe ar fy llaw i, a [phan] addolwyf innef yn nhŷ Rimmon, [ie] pan ymgrymmwyf yn nhŷ Rimmon, maddeued attolwg yr Arglwydd i'th wâs y peth hyn.

19 Ac efe a ddywedodd wrtho, Dos mewn heddwch: yna efe aeth oddi wrtho ef ynghylch mill-dir o dîr.

20 ᵛ A Gehezi gwâs Eliseus gŵr Duw a ddywedodd, Wele fy meistr a arbedodd Naaman y Syriad hwn rhac cymmeryd oi law ef yr hyn a ddugase efe: [fel] y mae'r Arglwydd yn fyw mi a redaf ar ei ol ef, ac a gymmeraf ryw beth ganddo ef.

21 Felly Gehezi a ganlynodd ar ol Naaman: Pan welodd Naaman [ef] yn rhedeg ar ei ol, yna efe a ddescynnodd oddi ar y cerbyd iw gyfarfod ef, ac a ddywedodd, A yw pob peth yn dda?

22 Dywedodd yntef, Y mae pob peth yn ddâ, fy meistr a'm anfonodd i gan ddywedyd, Wele hyn yn awr, dau langc o fynydd Ephraim, o feibion y prophwydi a ddaethant attafi: dyro yn awr iddynt dalent o arian, a dau bâr o wiscoedd.

23 A Naaman a ddywedodd, Bydd fodlon cymmer ddwy dalent: ac efe a fu daer arno ef, ac a rwymodd y ddwy dalent arian mewn dwy gôd, a'r ddau-bâr ddillad, ac efe ai rhoddodd at ei ddau langc iw dwyn oi flaen ef.

24 Pan ddaeth efe i'r bwlch, yna efe ai cymmerth oi llaw hwynt, ac ai rhoddodd i gadw yn tŷ: ac efe a anfonodd ymmaith y gwŷr, a hwy a aethant ymmaith.

25 Yna efe a ddaeth i mewn, ac a safodd o flaen ei feistr, ac Eliseus a ddywedodd wrtho ef, O ba le [y daethost ti] Gehezi? dywedodd yntef, Nid aeth dy wâs [nac] ymma na thraw.

26 ʷ Ac efe a ddywedodd wrtho ef, Onid aeth fyng-halon, [gyd a thi] pan drodd y gŵr oddi ar ei gerbyd i'th gyfarfod ti? a [ydoedd hi] amser i gymmeryd arian, ac i gymmeryd gwiscoedd, ac oliwydd-lannau, a gwinllannau, a defaid, a gwartheg, a gweision, a morwynion?

27 ˣ Am hynny gwahan-glwyf Naaman a lŷn wrthit ti, ac wrth dy hâd yn dragywydd: ac efe a aeth ymmaith oi ŵydd ef yn wahan-glwyfus [cyn wynned] a'r eira.

## PEN. VI.

*Eliseus yn peri i'r haiarn nofio. 9 Yn datcuddio cyfrinach brenin Syria i frenin Israel. 18 Ac yn arwain llu brenin Syria yn ddeillion i Samaria. 24 Newyn aruthrol yn Samaria.*

y 1 Bren. 18, 4 Pen. 2, 3 a 4, 46 — A [y]MEIBION y prophwydi a ddywedasant
wrth Eliseus: Wele yn awr y lle yr hwn
yr ydym ni yn trigo ynddo ger dy fron di sydd
ry gyfyng i ni.
z 1 Tim. 6, 6 — 2 [z]Awn yn awr hyd yr Iorddonen, fel y cym-
merom oddi yno bawb un drostan, ac y gwnel-
om i ni yno le i gyfaneddu ynddo: dywedodd
yntef, Ewch.
a Pen. 2, 16 Barn. 4, 23 — 3 [a]Ac un a ddywedodd, Bydd fodlon attolwg
a dos gyd a'th weision: dywedodd yntef, Mi a âf.
4 Felly efe a aeth gyd a hwynt, a hwy a ddaeth-
ant at yr Iorddonen, ac a dorrasant y coed.
b Dat. 18, 19 — 5 [b]A phan oedd un yn bwrw i lawr drawst,
yna ei fwyall ef a syrthiodd i'r dwfr, ac efe a
waeddodd, ac a ddywedodd, Och-fi fy meistr
canys benthig oedd hi.
c Ex. 15, 25 Pen. 2, 21 — 6 [c]A gŵr Duw a ddywedodd, Pa le y syrth-
iodd hi? yntef a ddangosodd iddo yr fann, ac
efe a dorrodd bren, ai taflodd yno, ac a wnaeth
i'r haiarn nofio.
7 Yna efe a ddywedodd, Cymmer i fynu it, ac
efe a estynnodd ei law ac ai cymmerodd.
d Diar. 24, 6 — 8 [d]A brenin Syria oedd yn ymladd yn erbyn
Israel, ac efe a ymgynghorodd ai weision gan
ddywedyd, Yn y lle a'r lle [y bydd] fyng-wers-
syllfa.
9 Yna gŵr Duw a anfonodd at frenin Israel
gan ddywedyd, Ymgadw rhac myned i'r lle hwn-
nw, canys yno y mae y Syriaid yn llechu.
e Ioan 4, 1 Act. 17, 11 — 10 [e]Felly brenin Israel a anfonodd i'r lle [am]
yr hwn y dywedase gŵr Duw wrtho ef, ac y
rhybyddiase ef, ac a ymgadwodd yno: nid un-
waith, ac nid dwy-waith.
11 A chalon brenin Syria a §gynhyrfodd o
§ Fel y mor pan y cynhyrfir ef gan wyntoedd Esa. 57, 20 — herwydd y peth hyn: ac efe a alwodd ar ei
weision, ac a ddywedodd wrthynt, Oni fyneg-
wch i mi pwy o honoch [sydd yn egluro ein
cyfrinach ni] i frenin Israel?
f Preg. 10, 20 — 12 [f]Yna un oi weision ef a ddywedodd, Nid
[oes neb] fy Arglwydd frenin, onid Eliseus y
prophwyd, yr hwn [sydd] yn Israel a fynega i'r
brenin y geiriau y rhai a leferi di ynghanol dy
stafell.
g 1 Sam. 23, 22 Gen. 37, 19 — 13 [g]Ac efe a ddywedodd, Ewch, ac edrych-
wch pa le y [mae] efe, fel yr anfonwyf, ac y
dygwyf ef ymmaith: a mynegwyd iddo ef, gan
ddywedyd, Wele yn Dothan [y mae efe.]
h Esa. 8, 9 10 1 Sam. 23, 26 — 14 [h]Felly efe a anfonodd yno feirch, a cher-
bydau a llu mawr: a hwynt a ddaethant liw nos,
ac a amgylchynasant y ddinas.
15 Pan gododd gweinidog gŵr Duw yn foreu
a myned allan, yna wele lu yn amgylchynu y
ddinas, meirch hefyd a cherbydau: a'r llangc a
i Ex. 14, 13 2 Cron. 32, 7 — ddywedodd wrtho ef, Abâ fy meistr pa fodd y
gwnawn?
Rhu. 8, 31 Sal. 34, 7 — 16 [i]Ac efe a ddywedodd, Nac ofna: canys
amlach [yw] y rhai [sydd] gyd a ni, na'r rhai [sy]
gyd a hwynt.
17 [j]Yna Eliseus a weddiodd, ac a ddywed- — j Exo. 33, 18 Sal. 50, 15
odd, O Arglwydd agor attolwg ei lygaid ef, fel
y gwelo efe, a'r Arglwydd a agorodd lygaid y — a 18, 10 a 6, 17 Pen. 2, 11 12
llangc, ac efe a edrychodd, ac wele y mynydd
yn llawn meirch, a cherbydau tanllyd o amgylch
Eliseus.
18 [k]Felly hwynt a ddaethant i wared atto ef, — k Gen. 19, 11
ac Eliseus a weddiodd ar yr Arglwydd, ac a — Iob 5, 14
ddywedodd, Taro attolwg y genhedlaeth hon a — Luc 24, 16
dallineb, ac efe ai tarawodd hwynt a dallineb yn — Marc 8, 24
ol gair Eliseus.
19 Ac Eliseus a ddywedodd wrthynt hwy,
Nid hon [yw] yr ffordd, ac nid hon [yw] yr ddi-
nas, deuwch ar fy ol i, ac mi a'ch tywysa chwi at
y gŵr yr hwn yr ydych chwi yn ei geisio, ond
efe ai harweiniodd hwynt i Samaria.
20 A phan ddaethant hwy i Samaria, yna
Eliseus a ddywedodd, O Arglwydd agor di
lygaid y rhai hyn fel y gwelant: a'r Arglwydd
a agorodd eu llygaid hwynt, a hwy a edrych-
asant, ac wele yng-hanol Samaria [']r oeddynt.]
21 [l]A brenin Israel a ddywedodd wrth Elis- — l Mat. 11, Sam. 2, 8 Pen. 8
eus, pan welodd efe hwynt, Gan daro a daraw-
af [hwynt] fy nhad?
22 [m]Dywedodd yntef, Na tharo, ond y rhai a
gaethiwaist a'th gleddyf, ac a'th fŵa dy hun a — m Rhuf. 12, 20
darewi di: [yn hytrach] gosod fara a dwfr ger — Diar. 25, 21
eu bron hwynt fel y bwyttant, ac yr yfant, ac
yr elont at eu harglwydd.
23 [n]Ac efe a arlwyodd iddynt hwy arlwy — n Pen. 5, 2
fawr, a hwy a fwytasant, ac yfasant, ac efe ai
gollyngodd hwynt ymmaith, a hwy a aethant at
eu harglwydd; felly byddinoedd y Syriaid ni
chwanegasant ddyfod mwyach i wlad Israel.
24 [o]Ac wedi hyn Ben-hadad brenin Syria a — o 1 Bren. 20, 1, 2
gynhullodd ei holl lu; ac efe a aeth i fynu, ac a — a 25, 1
warchaodd ar Samaria.
25 [p]Ac yr oedd newyn mawr yn Samaria, — p Ex. 25, 13
canys wele yr oeddynt hwy yn gwarche arni
hi nes bod pen assyn er pedwar ugain [sicl] o
arian, a phedwerydd [ran] Cab o dom colomen-
nod er pump [sicl] o arian,
26 Fel yr oedd brenin Israel yn cerdded ar
y mur, yna gwraig a lefodd arno ef gan ddyw-
edyd, Achub fi fy arglwydd frenin.
27 [q]Dywedodd yntef, [Gan] nad achub yr Ar- — q Sal. 18, 1, 2
glwydd dydi, pa fodd yr achubafi di? ai o'r
yscybor, neu o'r gwin-wryf?
28 A'r brenin a ddywedodd wrthi hi, Beth a
[ddarfu] i ti? hithe a ddywedodd, Y wraig hon
a ddywedodd wrthif, Dyro dy fab fel y bwyt- — r Lef. 26, 29
taom ef heddyw, a'm mab inne a fwyttawn — Galar. 4, 10
ni y foru.
29 Felly ni a ferwasom fy mab i [r] ac ai bwyt- — Deut. 28, 53

tawsom ef: a mi a ddywedais wrthi hithe ddi-
wrnod arall, Dyro dithe dy fab fel y bwyttaom
ef, ond hi a guddiodd ei mab.
Pen 5, 7 30 [r] A phan glybu y brenin eiriau y wraig,
Esa. 58,5 yna efe a rwygodd ei ddillad, ac fel yr oedd efe
Bren. 21, 27 yn cerdded ar y mur y bobl ai canfu [ef,] ac wele
sach-liain [ydoedd] am ei gnawd ef oddi fewn.
Act. 23, 31 [s] Ac efe a ddywedodd, Fel hyn y gwnelo
4 Bren. 19 Duw i mi, ac fel hyn y chwanego: os saif pen
Eliseus mab Saphat arno ef heddyw.
ago 5,17 Bren. 18 32 [t] (Ac Eliseus oedd yn eistedd yn ei dŷ, a'r
Mal. 3,16 henuriaid oeddynt yn eistedd gyd ag ef:) a'r
zec 9,4 al. 118,6 [brenin] a anfonodd ŵr o'i flaen: cyn dyfod y
en 7, 2 Bren. 18 gennad atto ef, efe a ddywedodd wrth yr hen-
uriaid, Oni welwch chwi fel yr anfonodd mab*
en. 21, y llofrudd hwn i gymmeryd ymmaith fy mhen i?
edrychwch pan ddel y gennad i mewn caiwch y
drws, a deliwch ef wrth y drws, onid [yw] trwst
traed ei arglwydd ef ar ei ol ef?
Jat. 16, 33 [u] Ac efe etto yn ymddiddan a hwynt yna
wele y gennad yn dyfod i wared atto ef: ac a
ddywedodd, Wele y drygioni hyn [sydd] oddi
wrth yr Arglwydd, pa ham y disgwiliaf wrth yr
Arglwydd mwy?

## PEN. VII.

*Duw yn ... yn rhoddi amldra disymmwth yn Samaria.*
*17 Pa... a gafodd y pennaeth yr hwn ni choelie y prophwyd.*

Pen. 6, YNA [v] Eliseus a ddywedodd, Gwrandewch
a. 58,8 air yr Arglwydd: Fel hyn y dywedodd yr
l. 46,1 a 6,25 Arglwydd, Yng-hylch y pryd [hyn] y foru y
[gwerthir] sât o beilliaid er sicl, a dau sât o haidd
er sicl ym mhorth Samaria.
Pen 5, 2 [w] A'r tywysog yr hwn yr oedd y brenin yn
n. 7,11 pwyso ar ei law a attebodd ŵr Duw, ac a ddy-
al. 3,10 n 5,18 wedodd, Pe gwnai yr Arglwydd ffenestri yn y
en. 12,7 nefoedd, a fydde y peth hyn? dywedodd yntef,
Wele ti ai gweli a'th lygaid, ond ni fwyttei o
honaw.
ef. 13, 3 [x] A phedwar-gwŷr gwahan-glwyfus oedd-
en. 20, ynt wrth ddrws y porth: a hwy a ddywedasant
bob un wrth ei gilydd, Pa ham yr ydym ni yn
aros ymma nes ein meirw?
Est. 4, 4 [y] Os dywedwn ni, Awn i mewn i'r ddinas,
newyn [sydd] yn y ddinas, ac ni a fyddwn feirw
yno, ac os trigwn ni ymma hefyd ni a fyddwn
feirw, am hynny deuwch yn awr, a rhuthrwn i
werssyll y Syriaid; o chadwant ni yn fyw, byw
fyddwn, ac os lladdant ni, byddwn feirw.
Diar. 7, 5 [z] Ac hwynt a gyfodasant ar dorriad dydd i
fyned i werssyll y Syriaid: pan ddaethant at
al. 119, gwrr gwerssyll y Syriaid, yna wele nid [oedd]
neb yno.
2 Sam. 6 [a] Canys yr Arglwydd a barase i werssyll y
Syriaid glywed trwst cerbydau, a thrwst meirch
[a] thrwst llu mawr: fel y dywedasant bob un
wrth eu gilydd, Wele brenin Israel a gyflogodd
i'n herbyn ni frenhinoedd yr Hethiaid, a bren-
hinoedd yr Aipht i ddyfod arnom ni.
7 [b] Am hynny hwynt a gyfodasant, ac a ffoas- bSal. 48, 4, 5, 6
ant, ar lasiad dydd, ac a adawsant eu pebyll, ai Diar. 28, 1
meirch, ai hassynod, [sef] y gwerssyll fel yr yd-
oedd: ac a ffoasant am eu henioes.
8 [c] Pan ddaeth y rhai gwahan-glwyfus hyn cMat. 12, 44
hyd gwrr y gwerssyll, yna y daethant at un ba-
bell, bwyttasant hefyd, ac yfasant, a chymmer-
asant oddi yno arian, ac aur, a gwiscoedd, ac
aethant ymmaith, ac ai cuddiasant: a hwynt a
ddychwelasant, ac a ddaethant i babell arall,
cymmerasant hefyd oddi yno, ac aethant ym-
maith a chuddiasant [hwynt.]
9 [d] Yna y dywedodd y naill wrth y llall, Nid dEzec. 18, 14, 20
ydym ni yn gwneuthur yn iawn, y dydd hwn Hag. 1, 5
sy ddydd llawen-chwedl, ac yr ydym ni yn Heb. 10, 24
tewi a son, os arhoswn ni hyd oleuni y boreu, Barn. 19, 30
yna anwiredd a'n deil ni: deuwch gan hynny Phil. 2, 4
yn awr, ac awn fel y mynegom i dŷ yr brenin. Diarh. 28
10 Felly hwynt a ddaethant, ac a waeddasant
ar borthorion y ddinas, ac a fynegasant iddynt
gan ddywedyd, Daethom i wersyll y Syriaid, ac
wele nid [oedd] yno neb, na llais dyn: onid y
meirch yn rhwym, a'r assynnod yn rhwym, a'r
pabellau megis yr oeddynt hwy [o'r blaen.]
11 Yna y llefodd y porthorion: ac y myneg-
asant i dŷ yr brenin oddi fewn.
12 [e] Yna y brenin a gyfododd liw nos, ac a eGen. 29, 8
ddywedodd wrth ei weision, Mynegaf yn awr i Pen 6, 8
chwi yr hyn a wnaeth y Syriaid i ni: gwydd-
ent mai newynog oeddem ni, am hynny yr aeth-
ant ymmaith o'r gwersyll i ymguddio yn y
maes gan ddywedyd, Pan elont hwy allan o'r
ddinas yna y daliwn ni hwynt yn fyw, ac y deu-
wn i mewn i'r ddinas.
13 [f] Ac un o'r gweision a attebodd, ac a ddy- fPen. 5, 13
wedodd, Cymmer yn awr bump o'r meirch a
adwyd, y rhai a adawyd yn y ddinas, (wele [y
maent] hwy fel holl liaws Israel y rhai a arhos-
asant ynddi, wele [y maent] hwy fel holl liaws
Israel y rhai a ddarfuant) ac nyni a anfonwn,
ac a edrychwn.
14 Felly hwynt a gymmerasant ddau gerbyd
meirch: a'r brenin a anfonodd ar ol gwersyll y
Syriaid gan ddwyedyd, Ewch, ac edrychwch.
15 [g] A hwy a aethant ar eu hol hwynt hyd yr gEster 1, 7
Iorddonen, ac wele yr holl ffordd ydoedd yn Esa. 22, 24
llawn o wiscoedd, a llestri y rhai a fwriase y Num. 35, 16
Syriaid ymmaith wrth fryssio o honynt: a'r cen-
nadau a ddychwelasant, ac a fynegasant i'r
brenin.
16 Yna yr bobl a aethant allan, ac a anrhaith-
iasant werssyll y Syriaid: a bu sât o beilliaid
er sicl, a dau sât o haidd er sicl, yn ol gair yr
Arglwydd.
17 A'r brenin a osododd y tywysog (yr hwn

yr oedd efe yn pwysso ar ei law) [i wilied] ar y
porth, a'r bobl ai mathrasant ef yn y porth, felly
y bu efe farw megis y llefarase gŵr Duw) yr
hwn a ddywadse [hynny] pan ddaeth y brenin
i wared atto ef.
18 Felly y bu megis ac y llefarase gŵr Duw
wrth y brenin, gan ddwyedyd, Dau sât o haidd
er sicl, a sât o beillied er sicl fydd y pryd
[hyn] y foru ym mhorth Samaria.
19 Ond y tywysog a attebase ŵr Duw, ac a
ddywedase, Wele pe gwnai yr Arglwydd ffen-
estri yn y nefoedd, a fydde yn ol yr ymadrodd
hyn? dywedodd yntef, Wele ti a'i gweli a'th
lygaid, ond ni fwyttei di o honaw.
h 2 Cron. 20, 20 20 [h] Ac felly y bu iddo ef: canys y bobl ai
Num. 20, 12 sathrasant ef yn y porth fel y bu efe farw.

1 Ioan 5, 10 PEN. VIII.

Ier. 17, 6 *Eliseus yn rhybuddio y Sunamites y bydde saith mlynedd o*
†Pen. 4, 34 *newyn. 10 Yn prophwydo i Hazael am farwolaeth Benhad*
*ad, a'i greulondeb yntef i Israel. 20 Edom yn cilio oddi*
*wrth Iuda. 24 Ahazia yn teyrnasu yn lle Ioram*

YNA Eliseus a lefarase wrth y wraig yr hon
i Gen. 8,1 Ruth 1,1 y bywhause [i] efe ei mab gan ddywedyd,
Sal. 105, 16 Cyfot, a dos ti a'th dylwyth, ac ymdeithia lle
Gen. 41, 27 y gellech ymdeithio: canys 'r Arglwydd a al-
2Sam. 24, 13 wodd am newyn, a [hwnnw] a ddaw ar y wlad
saith mlynedd.
j 2Tim 5, 8 2 [j] A'r wraig a gyfododd, ac a wnaeth yn ol
gair gŵr Duw: ac hi a aeth ymmaith, hi ai
thylwyth, ac a ymdeithiodd yng-wlad y Phil-
istiaid saith mlynedd.
3 Ac yn mhen saith mlynedd y wraig a ddy-
chwelodd o wlad y Philistiaid: ac a aeth i
weiddi ar y brenin am ei thŷ, ac am ei thir.
§ Bu hyn o flaen hanes Naaman Pen 5, 4 4 A'r brenin a§ ymddiddanodd â Gehezi llangc
gŵr Duw, gan ddywedyd, Adrodd i mi attolwg
yr holl fawrhydri y rhai a wnaeth Eliseus.
5 Ac fel yr oedd efe yn mynegu i'r brenin y
modd y bywhause efe y marw, yna wele y wraig
yr hon y bywhause efe ei mab yn gweiddi ar y
brenin am ei thŷ, ac am ei thir: yna Gehezi a
ddywedodd, Fy arglwydd frenin, dymma yr
wraig, ac dymma ei mab yr hwn a ddarfu i Eli-
seus ei fywhau.
6 A'r brenin a ofynnodd i'r wraig, a hithe a
fynegodd iddo ef: a'r brenin a roddodd iddi un
stafelludd, gan ddywedyd, Par roddi trachefn
yr hyn oll [sydd] eiddo hi, a holl gnwd y maes,
o'r dydd y gadawodd hi y wlad, ie hyd y pryd
hwn.
k 1 Bren. 13, 1 7 [k] Yna y daeth Eliseus i Ddamascus, a Ben-
1 Bren. 19, 15 hadad brenin Syria oedd glaf: a mynegwyd
Adn. 9 iddo ef gan ddywedyd, Daeth gŵr Duw yma.
1 Bre. 14, 3 8 [l] A'r brenin a ddywedodd wrth Hazael,
Pen. 5, 5 Cymmer anrheg yn dy law, a dos i gyfarfod â
Pen. 1, 2 Num. 21 8 gŵr Duw: fel yr ymgynghorech â'r Arglwydd
drwyddo ef, gan ddywedyd, A fyddafi byw o'r
Ioan 4, 50 clefyd hwn?

9 [m] Felly Hazael a aeth i'w gyfarfod ef, ac a m Pen. 6, 21
gymmerth anrheg yn ei law, a phob peth [a'r a a 13, 14
oedd] dda [o] Damascus, [sef] llwyth deugain
o gamelod: ac a ddaeth, ac a safodd o'i flaen ef,
ac a ddywedodd, Ben-hadad brenin Syria dy
fab di a'm hanfonodd fi attat ti gan ddywedyd,
A fyddafi byw o'r clefyd hwn?
10 Ac Eliseus a ddywedodd wrtho ef, Dos, a
dywet wrtho ef, Ti a fyddi byw: etto yr Ar-
glwydd a ddangosodd y bydd efe marw yn
ddiau.
11 [n] Ac efe a gododd ei wyneb, ac a osododd n Ier 9, 1
[ei ddwylo arno ef] nes cywilyddio o honaw ef, a 14, 17
a gŵr Duw a wylodd. Luc 19, 41
12 [o] A Hazael a ddywedodd, Paham fy ar- o Pen. 10,
glwydd yr ydwyt ti yn wylo? dywedodd yntef, 32, 33
Am fy mod yn gwybod y drygioni yr hwn a a 12, 17
wnei di i feibion Israel, eu hamddeffynfaoedd a 13, 7
hwynt i losci di a thân, ai gwŷr ieuaingc a leddi Amos 1, 3
a'r cleddyf, ai plant a ddrylli, ai gwragedd
beichiogion a rwygi di.
13 [p] Yna Hazael a ddywedodd, Beth [yw] dy p Mat. 7, 6
was di? ai ci fel y gwnele efe y mawr beth hyn? Phil. 3, 2
ac Eliseus a ddywedodd, Yr Arglwydd a'th Sal. 22, 16, 20
ddangosodd di i mi yn frenin ar Syria. Ier. 17, 9
14 Felly efe a aeth ymmaith oddi wrth Elis- Mat. 26, 33, 35
eus, ac a ddaeth at ei arglwydd, yr hwn a ddy- 1 Bren. 19, 15
wedodd wrtho ef, Beth a ddywedodd Eliseus
wrthit ti? Efe a ddywedodd wrthif (eb yntef) y
byddit ti bwy yn ddiau.
15 [q] A thrannoeth efe a gymmerth gwrlid, ac q Preg. 8, 14
ai gwlychodd mewn dwfr, ac ai lledodd ar ei Mat. 26, 19
wyneb ef, fel y bu efe farw: a Hazael a deyrn- Ier. 41, 2
asodd yn ei le ef. Barn.
16 [r] Ac yn y bummed flwyddyn i Ioram fab 19, 21
Ahab frenin Israel, ac Iehosaphat frenin Iuda: r 1 Bren. 22, 50
y dechreuodd Ioram mab Iehosaphat brenin Pen 3,
Iuda deyrnasu.
17 Mab deuddeng-mlwydd ar hugain oedd
efe pan ddechreuodd deyrnasu: ac wyth mlyn-
edd y teyrnasodd efe yn Ierusalem.
18 [s] Ac efe a rodiodd yn ffordd brenhinoedd s Gen. 12
Israel, fel y gwnaethe tŷ Ahab, canys merch Sal. 1, 1
Ahab oedd iddo ef yn wraig: felly efe a wnaeth † Cron. 2
yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd. 1 Bren. 11, 6
19 [t] Ond * ni fynne'r Arglwydd ddifetha Iuda t 1 Bren. 11, 12
er mwyn Dafydd ei was: * megis y dywedase 2 Sam. 7, 13
efe wrtho ef, Y rhodde efe iddo oleuni [ac] iw Tit. 1,
feibion yn dragywydd. 1 Bren. 11, 36
20 [u] Yn ei ddyddiau ef y gwrthryfelodd Ed- u 1 Bren. 22, 47
om [i fod] oddi tann law Iuda: ac y gosodasant Pen 1,
frenin i deyrnasu arnynt eu hun.
21 [v] Ac Ioram a aeth i Zair, a'r holl gerbydau v Ios. 9
gyd ag ef: ac efe a gyfododd liw nos, ac a dar- 1 Sam. 11
awodd yr Edomiaid y rhai oeddynt yn ei 1 Bren.
amgylchu ef, a thywysogion y cerbydau, a'r 15, 29
bobl a ffoadd i'w pabellau.

wGen.27 22 ʷ Er hynny Edom a wrthryfelodd ac [a
40 fu] oddi tanu law Iuda hyd y dydd hwn: yna y
2Sam. 8, gwrthryfelodd Libna y pryd hynny.
14 23 ˣ A'r rhau arall o hanes Ioram, a'r hyn oll
Jos. 21,13 a'r a wnaeth efe: onid ydynt hwy yn scrifenedic
Cron.21 yn llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?
1 Bren. 24 ʸ Ac Ioram a hunodd gyd ai dadau, ac a
5, 29 gladdwyd gyd ai henafiaid yn ninas Dafydd:
Deut.31 ac Ahazia ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.
6 25 Yn y ddeuddecfed flwyddyn i Ioram fab
Cron.21 Ahab frenin Israel, yr aeth Ahazia mab Ioram
9 brenin Iuda yn frenin.
Bren 11 26 ᶻ Mab dwy flwydd ar hugain [oedd] Aha-
3 zia pan aeth efe yn frenin, ac un flwyddyn y
z Cron. teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw ei fam ef
2,1,2 [oedd] Athaliah merch Omri brenin Israel.
1 Bren. 27 ᵃ Ac efe a rodiodd yn ffordd tŷ Ahab, ac a
6 wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Ar-
11, 6 glwydd, fel tŷ Ahab: canys daw tŷ Ahab
Coro,14 [ydoedd] efe.
1Bre.4, 28 ᵇ Ac efe a aeth gyd ag Ioram mab Ahab i
ryfel yn erbyn Hazael brenin Syria i Ramoth
Gilead: a'r Syriaid a darawsant Ioram.
1 Bren. 29 ᶜ Ac Ioram y brenin a ddychwelodd i Iez-
34 rahel i ymiachau o'r dyrnodiau a'r rhai y taraw-
se y Syriaid ef yn Ramah wrth ymladd o hon-
aw ef yn erbyn Hazael brenin Syria: ac Ahazia
mab Ioram a ddaeth i wared i edrych Ioram
mab Ahab yn Iezrahel, canys claf ydoedd efe.

## PEN. IX.

*Iehu yn difetha Ioram, 27 ac Ahazia, 33 ac Iezabel.*

Bren. YNA ᵈ Eliseus y prophwyd a alwodd ar un
46 o feibion y prophwydi: ac a ddywedodd
wrtho ef, Gwregyssa dy lwynau, a chymmer y
phioled olew hon yn dy law, a dos i Ramoth
Gilead.
1 Bren. 2 ᵉ Pan ddelech yno, a gweled o honot yno
1 Iehu mab Iehosaphat mab Nimsi, yna tyred,
a phar iddo godi o fysc ei frodyr, a dwg ef i
stafell ddirgel.
Bren. 3 ᶠ Yna cymmer y phioled olew, a thywallt am
16 ei ben ef, a dywet, Fel hyn y dywedodd yr Ar-
at. 10. glwydd, mi a'th eneiniais di yn frenin ar Israel:
al.112,5 yna agor y drws, a ffo ymmaith, ac nac aros.
4 Felly y llangc [sef] gwâs y prophwyd a aeth
i Ramoth Gilead.
5 Pan ddaeth efe i mewn, yna wele tywysog-
ion y llu oeddynt yn eistedd, ac efe a ddyw-
edodd, Gair [sydd] genni if attat ti, O dywysog:
1 Bren. a dywedodd Iehu, At ba un o honom ni oll?
10 dywedodd yntef, Attat ti O dywysog.
15, 29 6 Ac efe a gyfododd, ac a aeth i mewn i'r tŷ,
uc 18,7 ac yntef a dywalltodd yr olew ar ei ben ef, ac a
Dat. 18, ddywedodd wrtho ef, Fel hyn y dywedodd Ar-
19, 2 glwydd Dduw Israel, myfi a'th eneiniais di yn
al. 116, frenin ar bobl yr Arglwydd, [sef] ar Israel.
Bren 18 7 ᵍ A thi a darewi dŷ Ahab dy arglwydd; fel
y dialwyf i waed fyng-weision y prophwydi, a
gwaed holl weision yr Arglwydd oddi a'r law
Iezrahel.
8 ʰ Canys holl dŷ Ahab a ddifethir, a mi a h Deut.
doraf ymmaith oddi wrth Ahab ⁎ yr hwn a bis- 32, 36
so ar bared, y gwarchaedig hefyd, a'r hwn a *1 Bren.
adawyd yn Israel. 14, 10
9 A mi a roddaf dŷ Ahab fel tŷ Ieroboam a 16. 3
mab Nabat: ac fel tŷ Baasa mab Ahia.
10 ʲ A'r cŵn a fwyttant Iesabel yn rhandir j1 Bren.
Iezrahel, ac ni [bydd] ai claddo [hi:] yna efe 21, 23
a agorodd y drws, ac a ffôdd. Mat.7, 6
11 ᵏ Ac Iehu a aeth allan at weision ei ar- k Ioan 10
glwydd, a dywedwyd wrtho ef, A yw pob peth 20
yn dda? paham y daeth yr ynfyd hwn attat ti? Act.17 18
dywedodd yntef wrthynt, Chwi a adwaenoch y a 26, 24
gŵr, ai ymadroddion. 2Cor5, 13
12 Dywedasant hwythau, Celwydd [yw hyn- Hos. 9, 7
ny,] mynega yn awr i ni: dywedodd yntef, Fel Esa.59, 15
hyn, ac fel hyn y llefarodd wrthif gan ddywed- Ier.29, 26
yd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Mi Marc 3,
a'th eneiniais di yn frenin ar Israel. 20
13 ˡ Yna hwynt a fryssiasant ac a gymmer- l Mat. 21,
asant bob un ei wisc, ac ai gosodasant tano ef 7
ar goppa y grissiau: ac a ganasant mewn ud- Pen 8, 19
corn, ac a ddywedasant, Teyrnased Iehu.
14 Ac Iehu mab Iehosaphat, mab Nimsi a
gydfwriadodd yn erbyn Ioram: ac Ioram
oedd yn cadw Ramoth Gilead, efe a holl Israel
rhac ofn Hazael brenin Syria.
15 ᵐ Ac Ioram y brenin a ddychwelodd i ym- m Ex. 32,
iachau i Iezrahel o'r archollau [a] yr rhai yr 27
archollase y Syriaid ef wrth ymladd o honaw Luc 16, 8
yn erbyn Hazael brenin Syria: a dywedodd
Iehu, Os mynnwch chwi nac eled [un] yn ddi-
angol o'r ddinas i fyned i fynegu i Iezrahel.
16 ⁿ Yna Iehu a farchogodd, ac a aeth i Iezrahel, n2 Cron.
canys Ioram oedd yn gorwedd yno: ac Ahazia 22, 7
brenin Iuda a ddaethe i wared i edrych Ioram.
17 ᵒ A'r gwiliwr oedd yn sefyll ar y tŵr yn o Pen17, 9
Iezrahel, ac a ganfu fintai Iehu pan oedd efe yn Esa 21, 6
dyfod, ac efe a ddywedodd, Yr ydwyf yn a 62, 6
gweled torf: ac Ioram a ddywedodd, Cymmer
ŵr march ac anfon i'w cyfarfod hwynt, a dyw-
eded, Ai heddwch [yw?]
18 ᵖ A'r gŵr march a aeth i'w gyfarfod ef, ac p 1 Bren.
a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd y brenin, 17, 18
Ai heddwch [sydd?] a dywedodd Iehu, Beth Adn. 19
[sydd] i ti [a ofynech] am heddwch? tro yn fy ol
i: a'r gwiliwr a fynegodd gan ddywedyd, Y
gennad a ddaeth hyd attynt hwy, ond nid yw
efe yn dychwelyd.
19 Yna efe a anfonodd yr ail gŵr march, ac efe
a ddaeth attynt hwy, ac a ddywedodd, Fel hyn
y dywedodd y brenin, [Ai] heddwch [sydd?] a
dywedodd Iehu, Beth [sydd] i ti [a ofynnech]
am heddwch? tro yn fy ol i.

q Pen 10, 16. Preg. 10, 18. Rhuf. 12, 11. 20 q A'r gwili-wr a fynegodd gan ddywedyd,
Efe a ddaeth hyd attynt hwy, ond nid yw efe
yn dychwelyd: ar gyrriad [sydd] fel gyrriad
Iehu mab Nimsi, canys y mae efe yn gyrru
yn ynfyd.
21 Yna Ioram a ddywedodd, Rhwym [y
cerbyd,] yntef a rwymodd ei gerbyd ef: ac Ior-
am brenin Israel a aeth allan, ac Ahazia bre-
nin Iuda, pob un i'w gerbyd, felly 'r aethant i
gyfarfod Iehu, a chyfarfuant ag ef yn rhan-dir
Naboth yr Iezraheliad.
r Heb. 12, 14. 2 Cor. 6, 14, 15. Dat. 17, 1. Lef. 17, 7. 1 Bren. 21, 8. 22 r A phan welodd Ioram Iehu, yna efe a
ddywedodd, A [oes] heddwch Iehu? dywed-
odd yntef, Pa heddwch? tra [fyddo] putteindra
Iezabel dy fam di, ai rhaib mor aml?
Neh. 3, 4. Dat. 18, 23. 23 s Am hynny Ioram a drodd ei ddwylaw, ac
a ffodd: ac a ddywedodd wrth Ahazia, [Y mae]
bradwriaeth O Ahaziah.
s 1 Bren. 22, 34. Amos 2, 14. Sal. 50, 22. t Diar. 21, 30. 24 t Yna Iehu a gymmerth fwa yn ei law, ac
a darawodd Ioram rhwng ei ysgwyddau,
fel yr aeth y saeth drwy ei galon ef: felly efe a
syrthiodd yn ei gerbyd.
Sal. 50, 21. Preg. 8, 12. u 1 Bren. 21, 29. 25 u Ac [Iehu] a ddywedodd wrth Bidcar ei
dywysog, Cymmer, bwrw ef i randir maes
Naboth yr Iezraheliad: canys cofia ein bod ni
mi a thi yn marchogeth yng-hyd ein dau ar ol
Ahab ei dad ef, a chodi o'r Arglwydd arno ef
y baich hwn.
v Ex. 3, 7. 2 Cron. 24, 22. 1 Bren. 21, 11. Deut. 24, 16. 2 Cron. 25, 4. 26 v [Nid geir-wir fi] medd yr Arglwydd onid
celanedd Naboth, a chelanedd ei feibion ef a
welais i neithwyr, am hynny mi a dalaf i ti yn
y rhandir hon medd yr Arglwydd: gan hynny
cymmer, [a] bwrw ef yn awr yn y rhandir hon
yn ol gair yr Arglwydd.
w Dat. 18, 4. Diar. 13, 20. Pen 8, 18, 27. 2 Cron. 22, 9. Ios. 17, 11. 1 Bren. 19, 15. 27 w Pan welodd Ahazia brenin Iuda [hynny]
yna efe a ffodd tua thŷ 'r ardd: ac Iehu a ym-
lidiodd ar ei ol ef, ac a ddywedodd, Tarewch
hwn hefyd yn [ei] gerbyd, [felly hwynt ai taraw-
sant ef] yn rhiw Gwrr, yr hon [sydd] wrth Ible-
am, ac efe a ffodd i Megido, ac a fu farw yno.
x 1 Bren. 2, 10. 28 x Ai weision ai dugasant ef mewn cerbyd
i Ierusalem; ac ai claddasant ef yn ei feddrod
gyd ai dadau, yn ninas Dafydd.
y Pen 8, 25. 29 y Ac yn yr unfed flwyddyn ar ddec i Ioram
fab Ahab yr aethe Ahazia yn frenin ar Iuda.
z Ier. 4, 30. Dat. 2, 20. Ezec. 23, 40. 30 z Pan ddaeth Iehu i Iezrahel: yna Iezabel a
glybu [hynny,] ac a goluroddei hwyneb, ac a
wiscodd yn wych am ei phenn, ac a edrychodd
drwy'r ffenestr.
a 1 Bren. 16, 28. 31 a Pan ddaeth Iehu i'r porth, yna hi a ddy-
wedodd: A [fu] heddwch i Zimri yr hwn a ladd-
odd ei feistr?
32 Ac efe a dderchafodd ei wyneb at y ffenestr,
ac a ddywedodd, Pwy [sydd] gyd a mi, pwy? yna
dau, [neu] dri o'r stafellyddion a edrychasant
arno ef.
b Mal. 4, 3. Pen 7, 20. 33 b Yntef a ddywedodd, Taffi hi i lawr, a hwynt
ai taflasant hi i lawr: ac efe a daenellodd oi gw-
aed hi ar y pared, ac ar y meirch, ac ai math-
rodd hi.
34 c Yna efe a ddaeth i mewn, ac a fwyttaodd, c Diar. 31,
ac a yfodd, dywedodd hefyd, Edrychwch am y Esa. 65,
[wraig] felldigedie honno, a chleddwch hi, canys Preg. 4, 3.
merch brenin [ydyw] hi. 1 Bren.
35 Pan aethant hwy iw chladdu hi: yna ni
chawsant o honi onid y benglog, a'r traed, a
chledrau y dwylo.
36 d Am hynny hwynt a ddychwelasant, ac a d 1 Bren. 21, 23.
fynegasant [hyn] iddo ef: dywedodd yntef, Dyna Act.
air yr Arglwydd yr hwn a lefarodd efe drwy law
ei wasanaethwr Elias y Thesbiad gan ddywe- Ioh.
dyd: Yn rhan-dir Iezrahel y bwytu y cwn gna-
wd Iezabel.
37 e A chelain Iezabel a fydd fel tommen ar e Sal. 83, 10.
wyneb y maes, yn rhan-dir Iezrahel: fel na ellir
dywedyd, Dymma Iezabel.

## PEN. X

*Iehu yn peri lladd meibion Ahab. 4 Brodyr Ahazia. 25 Ac offeiriaid Baal. 35 Ioachas yn teyrnasu yn lle Iehu.*

AC i Ahab [yr oedd] deng-mab a thrugain f 1 Bren. 21, 21.
yn Samaria; ac Iehu a scrifennodd lyth-
yrau, ac a anfonodd [i] Samaria at dywysogion
Iezrahel, [ac] at yr henuriaid, ac at dadmaeth-
od Ahab gan ddywedyd,
2 g Ac yn awr pan ddel y llythr hwn attoch g Pen. 5,
chwi (canys gyd a chwi [y mae] meibion eich
arglwydd a chwnych chwi [y mae] cerbydau, a
meirch, a dinasoedd caeroc, ac arfau.) h Deut. 17, 14.
3 h Yna edrychwch yr hwn sydd oref, ac yn 1 Sam.
gymhwysaf o feibion eich arglwydd, a gosod-
wch [ef] ar deyrn-gader ei dad; ac ymleddwch i 1 Bren.
dros dŷ eich arglwydd.
4 i A hwynt a ofnasant yn ddirfawr, ac a Luc.
ddywedasant, Wele y ddau frenin hynny ni
safasant oi flaen ef; pa fodd gan hynny y saf-
wn ni? j 1 Bren. 20, 4.
5 j Am hynny 'r anfonodd yr hwn [oedd ben-
naf] ar dŷ [Ahab,] a'r hwn [oedd bennaf] ar y
ddinas. a'r henuriaid, a'r tadmaethod at Iehu
gan ddywedyd, Dy weision di ydym ni, a'r hyn
oll a ddywedech di wrthym ni a wnawn ni;
ni wnawn ni neb yn frenin, gwna'r hyn a fy-
ddo da yn dy olwg.
6 k Yna efe a scrifennodd yr ail llythr attynt k Diar.
hwy gan ddywedyd, Os eiddo fi fyddwch chwi, Ex.
ac [os] ar fy llais i y gwrandewch, cymmerwch Deut.
bennau holl feibion eich arglwydd, a deuwch Pen.
attafi y pryd hyn y foru i Iezrahel: a meibion y Esa.
brenin, [sef] deng-wr a thrugain [oeddynt] gyd
a phennaethiad y ddinas, y rhai oeddynt yn eu
maethu hwynt. l Bren.
7 l A phan ddaeth y llythr attynt hwy, yna
hwy a gymmerasant feibion y brenin, ac a ladd-
asant y deng-wr a thrugain, ac a osodasant eu

pennau hwynt mewn basgedau, ac ai danfonasant hwy atto ef i Iezrahel.

8 ᵐ Yna y gennad a ddaeth, ac a fynegodd iddo ef gan ddywedyd, Hwynt a ddugasant bennau meibion y brenin: dywedodd yntef, Gosodwch hwynt yn ddau ben-twr wrth ddrws y porth hyd y boreu.

9 ⁿ A'r boreu efe a aeth allan, ac a safodd, a dywedodd hefyd wrth yr holl bobl, Byddwch gyfiawn: wele myfi a gyd-fwriedais yn erbyn fy arglwydd, ac a'i lleddais ef, ond pwy a laddodd yr holl rai hyn?

10 ᵒ Gwybyddwch yn awr na syrth [dim] o air yr Arglwydd i'r ddaiar yr hwn a lefarodd yr Arglwydd am dŷ Ahab: canys gwnaeth yr Arglwydd yr hyn a lefarodd efe drwy law * Elias ei was.

11 ᵖ Felly Iehu a darawodd holl weddillion tŷ Ahab yn Iezrahel, ai holl bennaethiaid ef, ai gyfneseifiaid ef, ai offeiriaid: fel na adawyd un yn weddill.

12 Ac efe a gyfododd, ac a aeth hefyd, ac a ddaeth i Samaria: [ac] efe [oedd wrth] dŷ cneifio y bugeiliaid ar y ffordd.

13 ᑫ A[illegible]u a gyfarfu a brodyr Ahazia brenin Iuda, [illegible]ddywedodd, Pwy [ydych] chwi? dywed[illegible] hwythau, Brodyr Ahazia [ydym] ni, ac n[illegible]ddaethom i wared i gyfarch meibion y brenin, a meibion y frenhines.

14 ʳ Ac efe a ddywedodd, Daliwch hwynt yn fyw, a hwynt ai daliasant hwy yn fyw: ac ai lladdasant hwy wrth bydew y tŷ cneifio, [sef] dau-wr a deugain, ac ni adawodd efe ŵr o honynt.

15 ˢ Pan aeth efe oddi yno, efe a gyfarfu ag Iehonadab fab Rechab yn cyfarfod ag ef, ac ai cyfarchodd ef, ac a ddywedodd wrtho ef, A yw dy galon di yn union [tu ag attaf fi] fel [y mae] fyng-halon i gyd a'th galon di? a dywedodd Iehonadab, Ydyw; Od ydyw [eb efe] moes dy law: rhoddodd yntef ei law, ac efe a barodd iddo ddyfod i fynu atto i'r cerbyd.

16 ᵗ Ac efe a ddywedodd, Tyret gyd a mi, a gwel fy zel i tua'r Arglwydd: ac efe a barodd iddo farchogeth yn ei gerbyd.

17 ᵘ Pan ddaeth efe i Samaria, yna efe a darawodd yr holl rai a adawsid i Ahab yn Samaria, nes iddo ei ddinistrio ef: yn ol gair yr Arglwydd yr hwn a lefarase efe wrth Elias.

18 ᵛ Yna Iehu y gynhullodd yr holl bobl, ac a ddywedodd wrthynt hwy, Ahab a wasanaethodd Baal ychydig: Iehu ai gwasanaetha ef lawer.

19 ʷ Ac yn awr gelwch attaf fi holl brophwydi Baal, ei holl weision ef, ai holl offeiriaid ef, na fydded un yn eisieu, canys aberth mawr [sydd] gennif i Baal, pwy bynnac a fyddo yn eisieu ni bydd efe byw: ond Iehu a wnaeth [hyn] mewn cyfrwystra, fel y difethe efe weision Baal.

20 Ac Iehu a ddywedodd, Cyhoeddwch gymanfa sanctaidd i Baal, a hwynt ai cyhoeddasant.

21 ˣ Felly Iehu a anfonodd drwy holl Israel, a holl weision Baal a ddaethant, ac ni thrigodd un yr hwn na ddaethe: a hwy a ddaethant i dŷ Baal, a llawnwyd tŷ Baal o ben bwy gilydd. — x1 Bren. 8, 16 Dat.16,16 Ioel 3, 2

22 ʸ Ac efe a ddywedodd wrth yr hwn [oedd geidwad] ar y gwiscoedd, Dwg allan wisc i holl weision Baal: ac efe a ddug y gwiscoedd iddynt hwy. — y2Cor.11 14,15 Ex. 28, 2

23 Pan ddaeth Iehu i mewn ac Iehonadab mab Rechab i dŷ Baal, yna efe ddywedodd wrth weision Baal: Chwiliwch, ac edrychwch rhac bod ymma gyd a chwi [neb] o weision yr Arglwydd, onid gweision Baal yn unic.

24 ᶻ Felly y daethant i mewn i wneuthur aberthau, a phoeth offrymmau: ac Iehu a osododd iddo allan bedwar ugain ŵr, ac a ddywedodd, Einioes y gŵr [oddi gan] yr hwn y diango [un] o'r dynion hyn (y rhai yr ydwyfi yn eu dwyn i'ch dwylo chwi) [fydd] am ei einioes ef. — z1 Bren. 20, 39, 42

25 ᵃ A phan orphennodd efe wneuthur y poeth offrwm, yna Iehu a ddywedodd wrth y swyddogion, a'r tywysogion, Ewch i mewn a tharewch hwynt, nac eled neb allan, felly hwynt ai tarawsant hwy a min y cleddyf: a'r swyddogion, a'r tywysogion ai taflasant hwy allan, ac a aethant i ddinas tŷ Baal. — aEsec. 9, 5, 6

26 ᵇ A hwynt a ddugasant allan ddelwau tŷ Baal, ac ai lloscasant hwy. — b1 Bren. 14, 23

27 ᶜ A hwynt a ddestruwiasant ddelw Baal, ac a ddinistriasant dŷ Baal, ac ai gosodasant ef yn dommen hyd heddyw. — cLef. 26, 30 Dan. 2, 5 a 3, 29 Ezra6,11

28 ᵈ Felly y deleodd Iehu Baal allan o Israel. — dDat. 17, 16 a 18, 21

29 ᵉ Etto am bechodau Ieroboam mab Nabat [drwy] y rhai y gwnaeth efe i Israel bechu, ni throdd Iehu oddi wrthynt hwy [nac oddi wrth] y lloi aur y rhai [oeddynt] yn Bethel, ac yn Dan. — Hos 2,17 eAdn. 28 Marc 6, 20 Hos. 1, 4 1Bren.15 26 1Bren.9 7

30 ᶠ A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Iehu, O herwydd it wneuthur yn dda, gan wneuthur yr hyn oedd inion yn fyng-olwg i yn ol yr hyn oll a'r a [oedd] yn fyng-halon i y gwnaethosti i dŷ Ahab: meibion y bedwaredd genhedlaeth i ti a eisteddant ar orseddfa Israel. — Hos. 1, 4 Adn 34 Pen13 10 a 14, 13 a 15, 8 Ezec 29, 19

31 ᵍ Ond nid edrychodd Iehu am fyned rhagddo yng-hyfraith Arglwydd Dduw Israel ai holl galon: [canys] ni throdd efe oddi wrth bechodau Ieroboam [drwy] y rhai y gwnaethe efe i Israel bechu. — gDiar. 4, 23 Sal. 39, 1

32 ʰ Yn y dyddiau hynny y dechreuodd yr Arglwydd dorri ymmaith Israel: a Hazael ai tarawodd hwynt drwy holl derfynau Israel. — hPen.8,12

33 O'r Iorddonen [tua] chodiad yr haul [sef]
holl wlad Gilead, y Gadiaid, y Rubeiniaid
hefyd, a'r Manassiaid: o Aroer yr hon [sydd]
wrth afon Arnon; Gilead hefyd a Basan.
34 A'r rhan arall o hanes Iehu, a'r hyn oll
a'r a wnaeth efe, ai holl gadernid ef: onid ydynt
hwy yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhin-
oedd Israel?
i 1 Bren. 35 [i] Ac Iehu a hunodd gyd ai dadau, a
6, 28. chladdwyd ef yn Samaria: ac Ioachaz ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
36 A'r dyddiau y rhai y teyrnasodd Iehu ar
Israel yn Samaria, [oeddynt] wyth mlynedd
ar hugain.

## PEN. XI.

*1 Gwaedlyd Deyrnasiad Athaliah. 4 Duwiol Deyrnasiad Ioas. 15 Ac Iehoiadah yn peri lladd Athaliah, yn gwneuthur cyfamod a Duw a dinistr ar dŷ Baal.*

j 2 Cron. PAN [j] welodd Athaliah mam Ahaziah farw
22, 10 Pen. 8, 18 oi mab hi: yna hi a gyfododd, ac a ddi-
a 9, 27 Ezec. 16, tethodd yr holl hâd brenhinawl.
44 2 Cron. 22 2 [l] Ond Iosaba merch y brenin Ioram, chwaer
10 Ahaziah a gymmerth Ioas fab Ahaziah, ac ai
Dat. 17, 6 lladrattaodd ef o fysc meibion y brenin y rhai
l 2 Cron 22, 11 a laddwyd, efe ai fammaeth [gan eu cadw]
Diar. 21, 30 mewn stafell y gwelâu: a hwy ai cuddiasant ef
1 Bren. 11 36 rhac Athaliah, fel na laddwyd ef.
m Dat 17, 1, 7 3 [m] Ac efe a fu gyd a hi yng-hudd [yn] nhŷ'r
Sal. 12, 8 Arglwydd chwe blynedd: ac Athaliah oedd yn
Mal. 3, 15 teyrnasu ar y wlad.
n 2 Cron. 4 [n] Ac yn y seithfed flwyddyn yr anfonodd
23, 1 1 Bren. 1, Iehoiadah, ac y cymmerth dywysogion y cant-
35 oedd [a'r] capteniaid, a'r swyddogion, ac ai
1 Cron 9, 13 dug hwynt i mewn atto i dŷ'r Arglwydd: ac a
2 Cron. 23 6 wnaeth a hwynt gyfammod, gwnaeth iddynt
2 Cron. 15 12 dyngu hefyd yn nhŷ yr Arglwydd, a dangosodd
Ezra 10, 3 iddynt fab y brenin.
o Luc 1, 8 5 [o] Ac efe a orchymynnodd iddynt gan ddyw-
9 1 Cron. 9, edyd, Dyma'r peth yr hwn a wnewch chwi,
25 trydedd ran o honoch, a ddeuant i mewn [ar] y
Sabboth, ac a gadwant wiliadwriaeth tŷ y
brenin.
p Pen. 15, 6 [p] A thrydedd ran [fydd] ym mhorth Sur,
35 2 Cron. 23 a thrydedd ran yn y porth ar ol y swyddogion:
4 felly cedwch wiliadwriaeth y tŷ Massa.
7 A dau parth o honoch chwi [sef] yr hyn oll
a'r a elo allan y Sabboth, a gadwant wiliadwr-
iaeth tŷ'r Arglwydd yng-hylch y brenin.
8 [q] A chwi a amgylchynwch y brenin o bob
q Ex. 21, 14 parth pob un ai arfau yn ei law, a'r hwn a ddelo
2 Cron 23 i'r rhesau llador ef: a byddwch gyd a'r brenin
Sal. 47, 1 pan elo efe allan, a phan ddelo efe i mewn.
9 A thywysogion y cantoedd a wnaethant yn
ol yr hyn oll a orchymynnase Iehoiadah yr
offeiriad, a chymmerasant bawb eu gwŷr y rhai
oeddynt yn dyfod i mewn [ar] y Sabboth, gyd
a'r rhai oeddynt yn myned allan [ar] y Sabboth:
ac a ddaethant at Iehoiadah yr offeiriad.
10 [r] A'r offeiriaid a roddodd i dywysogion y r 1 Sam.
cantoedd y gwaiw-ffyn, a'r tariannau, y rhai 9
[oeddynt] eiddo y brenin Dafydd: ac yn nhŷ
yr Arglwydd.
11 [s] A'r swyddogion a safasant bob un, ai ar- s 1 Bren. 1
fau yn ei law o'r tu dehau i'r tŷ hyd y tu asswy 36
i'r tŷ yng-hylch yr allor, a'r tŷ, wrth y brenin
o amgylch.
12 [t] Yna efe a ddug allan fab y brenin, ac a t 1 Bren. 1
roddodd y goron arno ef, a'r destiolaeth, a hwy 15 2 Cron.
ai hurddasant ef yn frenin, ac ai heneiniasant 23, 11 Sal. 4, 17
ef: curasant hefyd eu dwylo, a dywedasant, a 72, 15
Byw fyddo'r brenin.
13 [u] Pan glybu Athaliah drwst y bobl yn u 1 Bren.
rhedeg, yna hi a ddaeth i mewn at y bobl i dŷ'r 6, 36
Arglwydd.
14 [v] Pan edrychodd hi, yna wele y brenin oedd v 2 Cron.
yn sefyll wrth y golofn yn ol yr arfer, a'r tyw- 6, 13 a 34, 31
ysogion, a'r udcyrn o flaen y brenin, a holl bobl Pen. 23 1 Bren.
y wlad yn llawen, ac yn canu mewn udcyrn: 17, 3 Khuf.
am hynny Athaliah a rwygodd ei gwiscoedd, 5 Mat. 7,
ac a waeddodd, Bradwriaeth, bradwriaeth.
15 [w] Ac Iehoiadah yr offeiriad a orchymyn- w 1 Sam.
nodd i dywysogion y cantoedd y [illegible] oeddynt 22, 7 Ezec.
wedi eu gosod ar y llu, ac a ddy[illegible] wrth- 8 Dat.
ynt, Dygwch hi o'r tu allan i'r rhe[illegible]-hwn a 20
ddelo ar ei hôl hi llader ef a'r cle[illegible]: canys
dywedase yr offeiriad, na rodder hi i farwolaeth
yn nhŷ yr Arglwydd.
16 [x] Yna y gosodasant ddwylo arni hi, a hi a x Dat.
ddaeth tu a'r ffordd feirch i dŷ'r brenin: ac yno 1 a 18, 8
y lladdwyd hi. Barn. 1 Mat. 2,
17 [y] Ac Iehoiadah a wnaeth gyfammod rhwng y Deut.
yr Arglwydd, a'r brenin, a'r bobl, i fod yn bobl 16 2 Sam.
i'r Arglwydd: a rhwng y brenin a'r bobl. 3 Rhuf.
18 [z] Yna holl bobl y wlad a ddaethant i dŷ 5, 4
Baal, ac ai dinistriasant ef ai alloran, ei ddel- Sal. 1 z Pen.
wau hefyd a ddrylliasant hwy yn chwilfriw, 26
lladdasant hefyd Mathan offeiriad Baal o flaen
yr allor: a'r offeiriad a osododd oruwchwil-wŷr
ar dŷ'r Arglwydd.
19 [a] Cymmerth efe hefyd dywysogion y cant- a 2 Cron.
oedd, a'r capteniaid, a'r swyddogion, a holl 23, 20
bobl y wlâd a ddugasant i wared y brenin o dŷ'r
Arglwydd, a hwy a ddaethant tua phorth swydd-
ogion tŷ y brenin: ac efe a eisteddodd ar orsedd-
fa y brenhinoedd.
20 [b] A holl bobl y wlâd a lawenychasant, a'r b Deut.
ddinas a lonyddodd: canys lladdasent Athaliah 10
a'r cleddyf [wrth] dŷ y brenin.
21 Mab saith mlwydd [oedd] Ioas pan aeth
efe yn frenin.

## PEN. XII.

*Duwioldeb Ioas, ai ofal i gyweirio y deml, cyn marw Iehoiadah. 17 Iehu wedi hynny yn ei flino ef, ac yntef yn prynu ei heddwch a golud y cysegr. 20 Ac wedi i ddau oi weision ladd Ioas, Amasia yn teyrnasu yn ei le ef.*

YN [a] y seithfed flwyddyn i Iehu, y dechreuodd Ioas deyrnasu, a deugain mlynedd y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw ei fam ef [oedd] Zibia o Beer-seba.

2 [d] Ac Ioas a wnaeth yr hyn oedd uniou yngolwg yr Arglwydd ei holl ddyddiau ef: [yn] y rhai y dyscodd Iehoiadah yr offeiriad ef.

3 [e] Er hynny ni thynnasid ymmaith yr uchelfeudd: y bobl oeddynt etto yn offrymmu, ac yn arogl-darthu yn yr uchelfeudd.

4 [f] Ac Ioas a ddywedodd wrth yr offeiriaid: holl arian y pethau cyssegr-edic y rhai a ddygir i mewn i dŷ'r Arglwydd, arian y gŵr a gynoiwero, arian gwerth eneidiau pob un: a'r holl arian a'r a chwennycho neb eu dwyn i mewn i dŷ 'r Arglwydd,

5 [g] Cymmered yr offeiriaid [hynny] iddynt, pawb gan ei gydnabod: ac a adnewyddant adwyau y tŷ, pa le bynnac y ceffir adwy ynddo.

6 Ac yn y drydedd flwyddyn ar hugain i'r brenin Ioas, nid adgyweirlase yr offeiriaid agennau y tŷ.

7 [h] Yna y brenin Ioas a alwodd am Iehoiadah yr offeiriad, a'r offeiriaid [eraill,] ac a ddywedodd wrthynt hwy: Pa ham nad ydych chwi yn cywe[illegible]nnau y tŷ? yn awr gan hynny na dder[illegible] arian gan eich cydnabod, onis rhodd[illegible]t [gyweirio] adwyau y tŷ.

8 A'r offeiriaid a gyd synniasant ar na dderbynnid arian gan y bobl, heb adnewyddu rwygiadau y tŷ.

9 [i] Yna Iehoiadah yr offeiriad a gymmerth ryw gist, ac a dyllodd dwll yn ei chaead: ac ai rhoddodd hi o'r tu dehau i'r allor ffordd y dele pawb i mewn i dŷ'r Arglwydd, a'r offeiriaid y rhai oeddynt yn cadw y trothwy a roddasant yno'r holl arian a'r a ddygwyd i mewn i dŷ'r Arglwydd.

10 [j] A phan welsant hwy fod llawer o arian yn y gist: yna y daeth scrifennydd y brenin, a'r arch-offeiriad i fynu, a hwy a rwymasant yr arian pan gyfrifasant yr hyn a gawsid yn nhŷ'r Arglwydd.

11 [k] A hwynt a roddasant yr arian yn barod tann ddwylo gweith-wŷr y gwaith, [ac] i oruchwil-wŷr tŷ'r Arglwydd: ac ai talasant i'r seiri pren, ac i'r adeiladwŷr y rhai oeddynt yn gweithio tŷ'r Arglwydd.

12 [l] Ac i'r pridd-wŷr, i'r seiri meini hefyd, ac i brynu coed, a cherig nadd i adnewyddu adwyau tŷ'r Arglwydd: a thu ag at yr hyn oll a'r a aethe allan i adgyweirio y tŷ.

13 [m] Etto ni wnaed yn nhŷ'r Arglwydd gwpanau arian, saltringau, cawgiau, udcyrn, [na] dim llestri aur, na llestri arian, o'r arian a ddygasid i mewn i dŷ'r Arglwydd.

14 Eithr hwy ai rhoddasant i weith-wŷr y gwaith: fel yr adnewyddyd tŷ'r Arglwydd a hwynt.

15 Ac ni cheisiasant gyfrif gan y dynion y rhai y rhoddasent hwy'r arian dann eu dwylo iw rhoddi i weith-wŷr y gwaith: canys yr oeddynt hwy yn gwneuthur yn ffyddlon.

16 [n] Arian [dros] gamwedd, ac arian [dros] bechodau ni ddncpwyd i mewn i dŷ'r Arglwydd: [canys] eiddo'r offeiriaid oeddynt hwy.

17 [o] Yna Hazael brenin Syria a ddaeth i fynu, ac a ymladdodd yn erbyn Gath, ac ai hennillodd hi: a Hazael a osododd ei wyneb i fyned i fynu yn erbyn Ierusalem.

18 [p] Ac Ioas brenin Iuda a gymmerth yr holl bethau cyssegredic, y rhai a gyssegrase Iehosaphat, ac Ioram, ac Ahazia ei henafiaid ef brenhinoedd Iuda, ai gyssegredic bethau ef ei hun, a'r holl aur a'r a gafwyd yn nhrysorau tŷ'r Arglwydd, a thŷ'r brenin: ac efe ai hanfonodd at Hazael brenin Syria, ac efe a ymadawodd oddi wrth Ierusalem.

19 A'r rhan arall o hanes Ioas, a'r hyn oll a'r a wnaeth efe: onid ydynt hwy yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?

20 [q] A'i weision ef a gyfodasant, ac a gydfwriadasant fradwriaeth: ac a darawsant Ioas [yn] nhŷ Milo, wrth ddyfod i wared i Sila.

21 [r] Felly Iozacar mab Simeath, ac Iozabad mab Somer ei weision ef, ai tarawsant ef, fel y bu efe farw, a hwy ai claddasant ef gyd a'i dadau yn ninas Dafydd: ac Amasia ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XIII.

*Ioachas (wedi myned tann law y Syriaid) trwy weddi yn cael ymwared. 9 Ioas yn teyrnasu yn ei le ef. 20 Marwolaeth Eliseus a Hazael.*

O'R [s] drydedd flwyddyn ar hugain i Ioas fab Ahazias brenin Iuda: y teyrnasodd Ioachas mab Iehu ar Israel yn Samaria ddwy flynedd ar bymthec.

2 Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd: ac a rodiodd ar ol pechodau Ieroboam mab Nabat, [drwy] y rhai y gwnaethe efe i Israel bechu, [ac] ni throdd oddi wrthynt hwy.

3 [t] Am hynny digllonedd yr Arglwydd a lidiodd yn erbyn Israel: ac efe ai rhoddodd hwynt yn llaw Hazael brenin Syria, ac yn llaw Benhadad mab Hazael yr holl ddyddiau hynny.

4 [u] Ac Ioachaz a erfyniodd ar yr Arglwydd: a gwrandawodd yr Arglwydd arno ef, o herwydd iddo ganfod gorthrymder Israel, canys brenin Syria ai gorthrymmase hwynt.

5 [v] Am hynny'r Arglwydd a roddodd achubwr i Israel, fel yr aethant oddi tan law y Syriaid: a meibion Israel a drigasant yn eu pebyll fel-cynt.

w 1 Bren 16, 33 Deut.7,5

6 w Etto ni throesant hwy oddi wrth bechodau tŷ Ieroboam [drwy] y rhai y gwnaethe efe i Israel bechu, [eithr] rhodiasant ynddynt hwy: a'r llwyn hefyd a safodd yn Samaria.

x Amos1, 3 Pen.8, 12.

7 x Canys ni adawodd efe i Ioachaz [o'r] bobl onid dec a deugain o wŷr meirch, a dec cerbyd, a deng-mil o wŷr traed: o herwydd brenin Syria ai dinistriase hwynt, ac ai gosodase hwynt fel llwch i'w dyrnu.

y Pen16, 27 1Sam.17, 50

8 y A'r rhan arall o hanes Ioachaz, a'r hyn oll a'r a wnaeth efe, ai gadernid: onid ydynt hwy yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel?

z1Bren. 2, 10 14 a 13 a 16 29 Iob 3, 14

9 z Ac Ioachaz a hunodd gyd ai dadau, a chladdasant ef yn Samaria: ac Ioas ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.

10 O'r ail flwyddyn ar bymthec ar hugain i Ioas frenin Iuda, y teyrnasodd Ioas mab Ioachaz ar Israel yn Samaria un mlynedd ar bymthec.

a Gen.38, 7 Deut. 9, 18 1Bren 21 25 Pen 20, 3 a 21, 6

11 a Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd: ni thrôdd efe oddi wrth holl bechodau Ieroboam mab Nabat, [drwy] y rhai y gwnaethe efe i Israel bechu, [eithr] efe a rodiodd ynddynt.

12 A'r rhan arall o hanes Ioas, a'r hyn oll a wnaeth efe ai gadernid [drwy]'r hwn yr ymladdodd efe ag Amasia brenin Iuda: onid ydynt hwy yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel?

b1 Bren. 1, 13

13 b Ac Ioas a hunodd gyd ai dadau, ac Ieroboam a eisteddodd ar ei deyrn-gader ef: ac Ioas a gladdwyd yn Samaria gyd a brenhinoedd Israel.

c Zec. 1, 5 Esa. 57, 1 Pen.2, 12 Diar. 11, 11 a 29, 8 Iob22, 30 Ezec. 21, 30

14 c Pan glafychodd Eliseus oi glefyd yr hwn y bu efe farw ynddo: yna Ioas brenin Israel a ddaeth i wared atto ef, ac a wylodd ar ei wyneb ef, ac a ddywedodd, Fy nhâd, fy nhâd, cerbyd Israel, ai farchogion.

15 Yna Eliseus a ddywedodd wrtho ef, Cymmer fŵa, a saethau: ac efe a gymmerth fŵa, a saethau.

d Sal.127, 1. 2 Ioan 15, 5 Sal.144, 1 Gen. 49, 24

16 d Ac efe a ddywedodd wrth frenin Israel, Gosot dy law ar y bŵa, ac efe a osododd ei law: ac Eliseus a osododd ei ddwylaw ar ddwylo'r brenin.

e1Sam 4, 1 1Bren 20 26

17 e A dywedodd, Agor y ffenestr tua'r dwyrain, yntef ai hagorodd: yna y dywedodd Eliseus, Saetha, ac efe a saethodd, dywedodd yntef: Saeth ymwared yr Arglwydd, a saeth iechydwriaeth yn erbyn y Syriaid; ti a darewi y Syriaid yn Aphec, nes eu difa hwynt.

f Esa.58, 21 Ex.17, 10

18 f Hefyd efe a ddywedodd, Cymmer y saethau, ac efe ai cymmerodd: dywedodd yntef wrth frenin Israel, Taro'r ddaiar, ac efe a darawodd dair gwaith, ac a safodd.

19 Yna gŵr Duw a ddigiodd wrtho ef, ac a ddywedodd, [Dylesit] daro bump neu chwech o weithiau, yna y tarawsit y Syriaid nes [eu] difa [hwynt,] yn awr gan hynny tair gwaith y tarewi y Syriaid.

20 g Felly Eliseus a fu farw, a hwynt ai claddasant ef: a minteioedd o'r Moabiaid a ddaethant i'r wlâd y flwyddyn honno. g Pen. 3, 5

21 h A phan oeddynt hwy yn claddu gŵr, yna wele hwynt a ganfuant y dorf, am hynny y bwriasant y gŵr i feddrod Eliseus: pan aeth y gŵr a chyffwrdd ag escyrn Eliseus, yna efe a ddadebrodd, ac a gyfododd ar ei draed. h Mat. 11, 5 Ezec. 37, 10 Dat. 11, 11

22 i A Hazael brenin Syria a orthrymmodd Israel holl ddyddiau Ioachaz.

23 j A'r Arglwydd a drugarhaodd wrthynt hwy, ac a dosturiodd wrthynt hwy, ac a drodd attynt hwy er mwyn ei gyfammod ag Abraham, Isaac, a Iacob: ac ni fynnodd eu dinistrio hwynt, nai bwrw hwynt ymaith oi ŵydd ef hyd yn hyn. i 1 Bren. 19, 15 j Ex. 34, 6 Sal. 116, 5 Gen. 13, 14 a 17, 7 a 26, 24 Amos 7, 3 1 Bren. 21, 18

24 Felly Hazael brenin Syria a fu farw: a Benhadad ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.

25 Ac Ioas mab Ioachas a ddychwelodd ac a ennillodd y dinasoedd o law Benhadad mab Hazael, y rhai a ddugase efe o law Ioachas ei dad mewn rhyfel: Ioas ai taraw... ef dair gwaith, ac a ddug adref ddinasoe...

## PEN. XIV.

*Amasia yn dial ei dad. 7 Ac yn lladd llawer o'r Edomiaid. 15 Ieroboam yn teyrnasu yn lle Ioas. 29 A Zecharia yn ei le yntef.*

YN k yr ail flwyddyn i Ioas fab Ioachaz brenin Israel, y teyrnasodd Amasia mab Ioas brenin Iuda. k 2 Cron. 25, 1 Mat. 1, 8

2 l Mab pum-mlwydd ar hugain oedd efe pan aeth efe yn frenin, a naw mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw ei fam ef [oedd] Ioadan o Ierusalem. l 2 Cron. 25, 9

3 m Ac efe a wnaeth yr hyn oedd inion yngolwg yr Arglwydd, etto nid fel Dafydd ei dad: [ond] efe a wnaeth yn ol yr hyn oll a'r a wnaethe Ioas ei dad ef. m 2 Cron. 25, 2 Pen. 12, 2 Cron. 15

4 n Er hynny ni thynnwyd ymmaith yr uchelfeudd: [canys] y bobl oeddynt etto yn aberthu, ac yn arogl-darthu mewn uchelfeudd. n Pen. 12, 3

5 o A phan siccrhawyd ei deyrnas yn ei law ef: yna efe a laddodd ei weision y rhai a laddasent y brenin ei dad ef. o 1 Bren. 2, 12 Num. 35, 33 Pen 12, 20

6 p Ond ni laddodd efe feibion y rhai a darawsent [ei dad ef] fel y mae yn scrifennedic yn llyfr cyfraith Moses, [yn] yr hon y gorchymynnase'r Arglwydd gan ddywedyd, * Na lladder y tadau dros y meibion, ac na ladder y meibion dros y tadau, onid lladder pob un am ei bechod ei hun. p Deut. 24, 16 Ezec. 18, 20 q Pen. 8, 22 2 Cron. 25, 11 Gen. 14, 2 Sam. 8, 13

7 q Efe a darawodd o'r Edomiaid (yn nyffryn yr halen) ddeng-mil, ac a ennillodd [y castell ar] y graig mewn rhyfel: ac a alwodd ei henw ef r 2 Cron. Esa. 16, 1 2 Cron. 26, 10

Ioctheel hyd y dydd hwn.
f1Sam.14 8 [f] Yna Amasia a anfonodd gennadau at Io-
12 Pen13 9 as fab Ioachaz, fab Iehu brenin Israel gan
ddywedyd, Tyret, ymwelwn ai gilydd.
s Barn9,8 9 [s] Ac Ioas brenin Israel a anfonodd at Am-
1Bren.4, 33 asia brenin Iuda gan ddywedyd, Yr yscellyn
yr hwn [sydd] yn Libanus a anfonodd at y
cedrwydden yr hon [sydd] yn Libanus gan
ddywedyd, Dyro dy ferch i'm mab i yn wraig:
a bwystfil y maes yr hwn [oedd] yn Libanus a
drammwyodd, ac a sathrodd yr yscellyn.
t Hab.2,4 2 Cron. 32,25 10 [t] Gan daro y tarewaist yr Edomiaid, am
Luc14,11 hynny dy galon a'th falchiodd: ymffrostia, ac
eistedd yn dy dŷ, canys i ba beth yr ymrysoni
mewn drygioni, fel y syrthit ti hefyd, ac Iuda
gyd a thi?
u Ex. 14, 10 11 [u] Ond ni wrandawodd Amasia, am hynny
1 Sam. 3, 25 Ioas brenin Israel a aeth i fynu, a hwy a wel-
Ios.21,16 sant wynebau eu gilydd, efe ac Amasia brenin
a 19, 38 Iuda yn Bethsemes yr hon [sydd] yn Iuda.
12 Ac Iuda a laddwyd o flaen Israel: fel y
ffodd pawb i'w pabellau.
v Diar 16 18 13 [v] Ond Ioas brenin Israel a ddaliodd Ama-
Neh.8,16 sia fab Ioas, fab Ahazia, brenin Iuda yn Beth-
Zec. 14, 10 semes: ac efe a ddaeth i Ierusalem, ac a rwyg-
odd o fûr Ierusalem, o borth Ephraim, hyd
borth y gongl bedwar cant cufydd.
w 1 Bren 7, 51 14 [w] Ac efe a gymmerth yr holl aur, a'r arian,
a'r holl lestri a'r a gafwyd yn nhŷ'r Arglwydd,
ac yn nhryssorau tŷ'r brenin, a'r meibion y rhai
oeddynt yn wystlon: ac a ddychwelodd i
Samaria.
x Pen 13 8 15 [x] A'r rhan arall o hanes Ioas y rhai a wn-
aeth efe, ai gadeirnid ef, ac fel yr ymladdodd
efe ag Amasia brenin Iuda, onid ydynt hwy yn
scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel?
y 1 Bren 8, 10 16 [y] Ac Ioas a hunodd gyd ai dadau, ac a
gladdwyd yn Samaria gyd a brenhinoedd Is-
rael: ac Ieroboam ei fab a deyrnasodd yn ei
le ef.
17 Ac Amasia mab Ioas brenin Iuda a fu fyw
ar ol marwolaeth Ioas fab Ioachaz brenin
Israel bymtheng-mhlynedd.
z 1 Bren. 14,10,19 18 [z] A'r rhan arall o hanes Amasia: onid
ydynt hwy yn scrifennedic mewn llyfr Cronicl
brenhinoedd Iuda?
a 2 Cron. 25, 14, 27 2 Cron 11 19 [a] Ond hwy a frâd-fwriadasant yn ei erbyn
ef yn Ierusalem, ac efe a ffodd i Lachis: etto
Esa 36,1 Ios.10,31 hwynt a anfonasant ar ei ol ef i Lachis, ac ai
lladdasant ef yno.
b Pen 9, 28 20 [b] A hwynt ai dugasant ef ar feirch: ac efe a
gladdwyd yn Ierusalem gyd ai dadau yn ninas
Dafydd.
21 Yna holl bobl Iuda a gymmerasant Aza-
riah, ac yntef yn fab un mlwydd ar bymthec: ac
ai hurddasant ef yn frenin yn lle Amasia ei dad.

22 [d] Efe a adeiladodd Elath, ac ai rhoddodd d Pen16,6 Pen 13,
hi trachefn i Iuda, ar ol huno o'r brenin gyd 11 1Bren16,
ai dadau. 9
23 O'r bymthecfed flwyddyn i Amasia fab
Ioas brenin Iuda, y teyrnasodd Ieroboam mab
Ioas brenin Israel yn Samaria un mlynedd
a deugain.
24 [e] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-
olwg yr Arglwydd: ni chiliodd efe oddi wrth e Pen 13, 25
holl bechodau Ieroboam mab Nabat [drwy] y Num 34, 8
rhai y gwnaethe efe i Israel bechu. Iona 1, 1
25 [f] Efe a ddug adref derfyn Israel o ddyfod- Mat. 12, 39
fa Hemath, hyd fôr y rhos: yn ol gair Arglwydd Ios.19,13 f Pen.13, 4
Dduw Israel, yr hwn a lefarase efe drwy law ei
wâs Ionas mab Amittai y prophwyd, yr hwn Deut 32, 36
[oedd] o Gath Hepher. Esa. 59, 16
26 [g] Canys yr Arglwydd a welse gystudd Is-
rael yn flin iawn: nad [oedd neb] gwarchaed- g Hos, 1 5, 6, 9
ic, na neb wedi ei adel, ac nad [oedd] gynnorth-
wyudd i Israel.
27 [h] Etto ni lefarase yr Arglwydd am ddeleu h 2Sam.8
enw Israel oddi tan y nefoedd: am hynny efe ai 6 Amos6,3
gwaredodd hwynt drwy law Ieroboam mab Ioas. 1 Bren. 11, 24
28 [i] A'r rhan arall o hanes Ieroboam, a'r hyn i Pen 14,
oll a'r a wnaethe efe, ai gadernid ef [drwy] yr 21 2Cron 26
hwn yr ymladdodd efe, a [thrwy] yr hwn y dug 14
efe adref Ddamascus, a Hamath i Iuda yn Isr-
ael: onid ydynt hwy yn ysgrifennedic yn llyfr
Cronicl brenhinoedd Israel?
29 [j] Ac Ieroboam a hunodd gyd ai dadau, j 2 Cron. 26, 3
[sef] gyd a brenhinoedd Israel: a Zacharia ei 2Cron 26
fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XV.

*1 Gwahan-glwyf Azaria, Teyrnasiad Salum, 14 Menahem, 23 Pecahia, 32 Yr Azaria uchod, ac Ahas ei fab ef.*

YN [k] y seithfed flwyddyn ar hugain i Iero- k Pen.14 3
boam brenin Israel, y teyrnasodd Azariah 2Cron 26
mab Amazia brenin Iuda. 3
2 [l] Mab un mlwydd ar bymthec ydoedd efe l 1Bren15
pan ddechreuodd efe deyrnasu, a deuddeng ml- 14 1Bren 9,
ynedd a deugain y teyrnasodd efe yn Ierusalem: 25
ac enw ei fam [oedd] Iecholiahu o Ierusalem. Esa.56,9, 10
3 [m] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd uniou yng-ol- m Iob 35,
wg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a'r a wnaelse 19
Amasia ei dad ef. 2 Cron. 26, 16
4 [n] Er hynny ni thynnwyd ymmaith yr uchel- Num.12, 10
feudd: [canys] y bobl oeddynt etto yn aberthu, 2Cron.15
ac yn arogl-darthu mewn uchelfeudd. 5 n 1 Bren.
5 [o] A'r Arglwydd a darawodd y brenin fel y 2, 10 2Cron.26
bu efe yn wahan-glwyfus hyd ddydd ei farwol- 23 a 24, 25
aeth, am hynny efe a drigodd mewn tŷ ar naill- o Pen 10, 31
tu: ac Iotham mab y brenin [oedd bennaf] ar y a 13, 2, 11
tŷ yn barnu pobl y wlad. a 14, 24
6 A'r rhan arall o hanes Azariah, a'r hyn oll
a'r a wnaeth efe, onid ydynt hwy yn scrifenne-
dic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?

7 Ac Azariah a hunodd gyd ai dadau, a chladdasant ef gyd ai henafiaid yn ninas Dafydd: ac Iotham ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.

8 Yn y drydedd flwyddyn ar bymthec ar hugain i Azariah frenin Iuda, y teyrnasodd Zacharia Mab Ieroboam ar Israel yn Samaria chwe mis.

9 Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd, megis y gwnaethe ei dadau ef: ni throdd efe oddiwrth bechodau Ieroboam mab Nabat [drwy] y rhai y gwnaethe efe i Israel bechu.

p 1 Bren. 16, 9. 2 Cron. 21, 20
10 p A Salum mab Iabes a frad-fwriadodd yn ei erbyn ef, ac ai trawodd ef ger bron y bobl, ac ai lladdodd ef: ac a deyrnasodd yn ei lê ef.

11 A'r rhan arall o hanes Zacharia, wele hwynt yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel.

q Pen 10, 30 Tit. 1, 2 Pen. 13, 1 a 14, 16.
12 q Dymma air yr Arglwydd yr hwn a lefarase efe wrth Iehu, gan ddywedyd, Meibion y bedwaredd genhedlaeth i ti a eisteddant ar orseddfa Israel; ac felly y bu.

13 Salum mab Iabes a deyrnasodd yn y bedwaredd flwyddyn ar bymthec ar hugain i Uzziah brenin Iuda; a mis cyfan y teyrnasodd efe yn Samaria.

r 1 Bren. 14, 17 Diar. 28, 2
14 r Canys Menahem mab Gadi a aeth i fynu o Thirsa, ac a ddaeth i Samaria, ac a darawodd Salum fab Iabes yn Samaria; ac ai lladdodd ef, teyrnasodd hefyd yn ei le ef.

15 A'r rhan arall o hanes Salum, ai fradwriaeth ef [drwy] yr hon y brad-fwriadodd efe, wele hwynt yn ysgrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel.

s 1 Bren. 4, 24 Amos 1, 13 Barn. 8, 5, 16 Pen 8, 12
16 s Yna Menahem a darawodd Thipsa, a'r rhai oll [oeddynt] ynddi, ai therfynau o Thirsa allan, o herwydd nad agorwyd [iddo ef] am hynny y tarawodd efe hi, ai holl wragedd beichiogion a rwygodd efe.

t 1 Bren. 16, 29
17 t O'r bedwaredd flwyddyn ar bymtheg ar hugain i Azariah brenin Iuda, y teyrnasodd Menahem mab Gadi ar Israel ddeng-mhlynedd yn Samaria.

u 1 Bren. 15. 26
18 u Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd; ni throdd oddiwrth bechodau Ieroboam mab Nabat [drwy] y rhai y gwnaethe efe i Israel bechu [yn] ei holl ddyddiau.

v 1 Cron. 5, 26 Pen. 17, 6 ‖ oddeutu 375 mil o bynnau. Pen 14, 5
19 v A Phul brenin Assyria a ddaeth yn erbyn y wlad, a Menahem a roddodd i Phul‖ fil o dalentau arian: fel y bydde ei law gyd ag ef, i sicrhau y frenhiniaeth yn ei law ef.

w 1 Bren. 9, 10
20 w A Menahem a drethodd arian ar Israel, [sef] ar yr holl rai cedyrn o allu, drwy roddi o bob un i frenin Assyria ddec sicl, a deugain o arian: felly brenin Assyria a ddychwelodd, ac nid arhosodd yno yn y wlad.

x Iob 20, 5
21 x A'r rhan arall o hanes Menahem, a'r hyn oll a'r a wnaeth efe: onid ydynt hwy yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel?

22 A Menahem a hunodd gyd a'i dadau: a Phecahia ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.

23 O'r ddecfed flwyddyn a deugain i Azariah brenin Iuda, y teyrnasodd Pecahia mab Menahem ar Israel yn Samaria ddwy flynedd.

y 1 Bren. 14, 23
24 y Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd: ni throdd efe oddiwrth bechodau Ieroboam mab Nabat [drwy] y rhai y gwnaeth efe i Israel bechu.

z Esa. 7, 1 1 Bren. 16, 9. a 9, 1
25 z A Pheca mab Remaliahu ei dywysog ef a frad-fwriadodd yn ei erbyn ef, ac a'i tarawodd ef yn Samaria yn llŷs y brenin gyd ag Argob, ac Arieth a deng-wr a deugain o feibion y Gileadiaid: felly efe a'i lladdodd ef, ac a deyrnasodd yn ei le ef.

a 1 Bren. 14, 19
26 a A'r rhan arall o hanes Pecahia, a'r hyn oll a wnaeth efe: wele hwynt yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel.

27 O'r ddeuddecfed flwyddyn a deugain i Azaria brenin Iuda, y teyrnasodd Peca mab Remaliahu ar Israel yn Samaria ugain mlynedd.

28 Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd: ni throdd efe oddiwrth bechodau Ieroboam mab Nabat [drwy] y rhai y gwnaeth efe i Israel bechu.

b 2 Cron. 28, 20 Esa. 7, 1 1 Bren. 15, 20 Ios. 15, 6 Barn. 4, 6 Ios. 11, 10 Gen. 31, 21 Esa. 9, 1
29 b Yn nyddiau Peca brenin Israel y daeth Tiglath Peleser brenin Assyria, ac a ennillodd Iion, ac Abel, Bethmaacha, ac Ianoah, Cedes hefyd, a Hazor, Gilead hefyd, Galilee [a] holl wlâd Nephthah: ac a gaeth-gludodd eu [trigolion] i Assyria.

Mat. 4, 15 14, 15 Deut. 8, 47, 48 c Mat. 7, 1
30 c A Hosea mab Elah, a frad-fwriadodd fradwriaeth yn erbyn Peca mab Remaliahu, ac ai tarawodd ef, ac ai lladdodd ef, ac efe a deyrnasodd yn ei le ef: yn yr ugainfed flwyddyn i Iotham fab Uzzia.

31 A'r rhan arall o hanes Peca, a'r hyn oll a wnaeth efe: wele hwynt yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd Israel.

d 2 Cron. 27, 1 Mat. 1, 9
32 d Yn yr ail flwyddyn i Peca fab Remaliahu brenin Israel: y dechreuodd Iotham mab Uzziah brenin Iuda deyrnasu.

33 Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw ei fam ef [oedd] Ierusa merch Zadoc.

e 2 Cron. 27, 2 a 3, 16 a 26, 4
34 e Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union yngolwg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a'r a wnelse Uzziah ei dad ef.

f 1 Bren. 15. 14 Pen 11, 6
35 f Er hynny ni thynnwyd ymaith yr uchelfeudd, y bobl oeddynt etto yn aberthu, ac yn arogl-darthu mewn uchelfeudd: efe a adailadodd y porth uchaf i dŷ'r Arglwydd.

36 A'r rhan arall o hanes Iotham, a'r hyn oll

a wnaeth efe: onid ydynt hwy yn scrifennedic
yn llyfr Croniol brenhinoedd Iuda?
gPen.2,1 37 g Yn y dyddiau hynny y dechreuodd yr
a 10,5 Arglwydd anfon yn erbyn Iuda Rezin brenin
Hos.5,12 Syria: a Pheca mab Remaliahu.
14 38 Ac Iothan a hunodd gyd ai dadau, ac a
Pen 16,5 gladdwyd gyd ai henafiaid yn ninas Dafydd ei
Amos 4, dad: ac Ahaz ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.
13
2Cron.28
6

## PEN. XVI.

*Ahaz yn cyssegru ei fab mewn tân. 7 Yn ceisio ac yn cael cymmorthwy gan frenin Assyria yn erbyn brenhinoedd Syria, ac Israel. 20 Hezecia yn teyrnasu yn lle Ahaz.*

h 2Cron. YN h yr ail flwyddyn ar bymtheg i Peca fab
28,1 Remaliahu y dechreuodd Ahaz mab Io-
tham brenin Iuda deyrnasu.
i Pen 15, 2 i Mab ugain mlwydd [oedd] Ahaz pan dde-
33 chreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd ar
bymthec y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac ni
wnaeth efe yr hyn oedd iniol yng-olwg yr Ar-
glwydd ei Dduw ef, fel Dafydd ei dad.
m Gen.6, 3 m Eithr rhodiodd yn ffordd brenhinoedd Is-
12 rael: n ac a yrodd ei fab drwy yr tân yn ôl ffieidd-
2 Sal. 1,1 dra y cenhedloedd y rhai a fwriase yr Argl-
n Lef. 18, wydd, allan o flaen meibion Israel.
21 4 o Ac efe a aberthodd, ac a arogl-darthodd
Sal. 106, mewn uchelfeudd, ac ar y bryniau: a thann
37 bob pren gwyrdd-las.
o Lef.26, 5 p Yna y daeth q Rezin brenin Syria, a Phe-
30 ca mab Remaliahu brenin Israel i fynu i Ieru-
p 1Bren.14 salem i ryfel: a hwynt a warchasant ar Ahaz,
23 ond ni allasant hwy [ei] orchfygu [ef.]
Deut.12, 6 r Yn yr amser hwnnw Rezin brenin Syria
2 a ddug drachefn Elath at Syria, ac a ddiwreidd-
q 1Bren. iodd yr Iuddewon o Elath: a'r Syriaid a ddaeth-
11,36 ant i Elath, ac a bresswyliasant yno hyd y
Esa 7,4 dydd hwn
11 7 s Yna Ahaz a anfonodd gennadau at Tig-
2Cron.7, lath Peleser brenin Assyria gan ddywedyd,
6 Dy wâs di, a'th fab di ydwyfi: tyred i fynu, a
r 1Bren gwared fi o law brenin Syria, ac o law brenin
14,22 Israel, y rhai ydynt yn cyfodi yn fy erbyn i.
2Cron.26 8 t Ac Ahaz a gymmerth yr arian, a'r aur y rhai
s Pen 14 a gafwyd yn nhŷ yr Arglwydd, ac yn nhrys-
Deut.28, soran tŷ y brenin: ac a anfonodd anrheg i fren-
Jer. 17,5 in Assyria.
t Pen 12, 9 u A brenin Assyria a wrandawodd arno ef, a
18,16 brenin Assyria a ddaeth i fynu i Ddamascus,
Cron.28 ac ai hennillodd hi, ac a gaeth-gludodd ei
u Mat.7,2 [thrigolion] i Cir: ac a laddodd Rezin.
Sal 7,15 10 x A'r brenin Ahaz a aeth i Ddamascus i
16 gyfarfod Tiglath Peleser brenin Assyria, pan
Amos1,5 welodd efe yr allor'r hon [oedd] yn Damascus:
Esa. 22,7 yna brenin Ahaz a anfonodd at Uria yr off-
2 Cron. eiriad lûn yr allor, ai hagwedd yn ol ei holl
28,21 wneuthuriad.
Tim. 4, 11 y Ac Uria yr offeiriad a adeiladodd yr

allor: yn ol yr hyn oll a anfonase y brenin Ahaz
o Ddamascus; felly y gwnaeth Uria yr offeir-
iad erbyn dyfod y brenin Ahaz o Ddamascus.
12 v Felly y brenin a ddaeth o Ddamascus, v 2 Tim.
a'r brenin a ganfu yr allor: y brenin hefyd a 3,13
nessaodd at yr allor, ac a boeth offrymmodd
arni hi.
13 w Ac efe a loscodd ei boeth-offrwm, ai w Lef. 1,
fwyd offrwm, ac a dywalltodd ei ddiod offrwm: 3 a 2,1
taenellodd hefyd waed yr offrymmau hedd yr a 3,1
hwn [oedd] ganddo ar yr allor.
14 x A'r allor brês yr hon [oedd] ger bron yr x 2Cron.
Arglwydd a dynnodd efe ymaith o dalcen y tŷ, 4,1
oddi rhwng yr allor, a thŷ yr Arglwydd: ac ai Ex.40,29
rhoddes hi wrth ystlys yr allor o du yr gogledd.
15 A'r brenin Ahaz a orchymynnodd i Uria
yr offeiriad gan ddywedyd, Llosc ar yr allor
fawr y poeth offrwm boreuol, a'r bwyd offrwm
prynhawnol, poeth offrwm y brenin hefyd, ai
fwyd offrwm ef, a phoeth offrwm holl bobl y
wlâd ai bwyd offrwm hwynt, eu diodydd offrwm
hwynt hefyd, a holl waed y poeth offrwm, a
holl waed yr aberth a daenelli di arni hi: a by-
dded yr allor brês i mi i ymmorol [a hi.]
16 y Ac Uria yr offeiriad a wnaeth yn ol yr y 1Thess
hyn oll a orchymynnase y brenin Ahaz. 4
17 A'r brenin Ahaz a dorodd ddaliadau y Act 5,29
trestelau, ac a dynnodd ymmaith y noe oddi ar- Iudas 11
nynt hwy, ac a ddescynnodd y gerwyn oddi ar
yr ychen pres, y rhai [oeddynt] tani hi: ac ai
rhoddodd hi ar balmant cerrig.
18 z A gorchudd y Sabboth yr hwn a adail z 2 Cron.
adasent hwy yn tŷ, a dyfodfa y brenin oddi 28,24
allan a drodd efe [oddi wrth] dŷ yr Arglwydd: Ier. 2,11
rhac ofn brenin Assyria.
19 A'r rhan arall o hanes Ahaz, yr hyn a
wnaeth efe: onid [ydynt] hwy yn scrifennedic
yn llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?
20 a Ac Ahaz a hunodd gyd ai dadau, ac a a Pen.12,
gladdwyd gyd ai henafiaid yn ninas Dafydd: a 21
Hezecia ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef. 2 Cron.
24.25
a 28,27

## PEN. XVII.

*Hosea ddrygionus wedi myned tan dreth i'r Assyriaid yn gwrthod eu gwarrogaeth hwynt. 7 Duw yn gadel am bechod yr Israeliaid i'r Assyriaid eu caethiwo hwynt. 25 Llewod yn difetha yr Assyriaid a ddaethant i aros yn Samaria.*

O'R b ddeuddecfed flwyddyn i Ahaz frenin b 1Bren.
Iuda: y teyrnasodd Hosea mab Elah yn 15,30
Samaria ar Israel naw mlynedd. a 18,9
2 c Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng- c Pen 3,2
olwg yr Arglwydd, etto nid fel brenhinoedd Israel
y rhai a fuasant oi flaen ef.
3 d A Salmaneser brenin Assyria a ddaeth i d 2Cron.
fynu yn ei erbyn ef: a Hosea a fu yn wâs iddo 15,29
ef, ac a ddug iddo anrhegion.

(c Pen 24, 20. 2 Cron. 33, 11) 4 * A brenin Assyria a gafodd fradwriaeth yn Hosea, am ddanfon o honaw genadau at So brenin yr Aipht, ac [am] na ddanfonase efe i fynu anrheg i frenin Assyria, fel [y bydde efe arferol] bôb blwyddyn: am hyny brenin Assyria a gaeodd arno ef, ac a'i rhwymodd ef mewn carchardŷ.

(f Ex. 34, 24) 5 f Yna brenin Assyria a aeth i fynu drwy yr holl wlad: ac a ddaeth i fynu i Samaria, ac a warchâodd arni hi dair blynedd.

(*Pen 18, 10. Lef. 26, 32. 2Cron.5, 26. g Pen 18, 11. Gen.10, 9) 6 * g Yn y nawfed flwyddyn i Hosea, yr ennillodd brenin Assyria Samaria, ac y caethgludodd efe Israel i Assyria: ac ai cyfleuodd hwynt yn Halah, ac yn Habor, [wrth] afon Gozan, ac [yn] ninasoedd y Mediaid:

(h Ex.20, 1. 2 Gen.35, 2) 7 h Am i feibion Israel bechu yn erbyn yr Arglwydd eu Duw hwynt, yr hwn ai dugase hwynt i fynu o wlâd yr Aipht, oddi tann law Pharao brenin yr Aipht: ac am iddynt ofni duwiau dieithr.

(i Ier. 2, 13. Mica 6, 16. 1 Bren 12, 19) 8 i A rhodio o honynt yn neddfau y cenhedloedd y rhai a fwriase yr Arglwydd allan o flaen meibion Israel: ac [yn y deddfau] y rhai a wnaethe brenhinoedd Israel.

(j 1 Pedr 2, 16. Ezec. 8, 12. Dat.17, 1. Ezec. 7, 23. a 9, 9) 9 j A meibion Israel a wnaethent yn ddirgel bethau y rhai nid [oeddynt] inion ger bron yr Arglwydd eu Duw: ac a adailadasent, iddynt uchelfeudd yn ei holl ddinasoedd, yn gystal ym mhob tŵr gwil-wŷr, ac ym mhob dinas gaeroc.

(k Lef. 26, 1. Mica 5, 14) 10 k Gosodasant hefyd iddynt ddelwau, a llwynau: ar bob brynn uchel, a thann bob prenn îr-las.

(l Ex. 30, 1. Lef. 18, 27, 28. *Deut. 4, 19) 11 l Ac arogl-darthasent yno yn yr holl uchelfeudd, fel y cenhedloedd y rhai a gaethgludase yr Arglwydd* o'i blaen hwynt: a gwnelsent bethau drygionus i ddigio yr Arglwydd.

(*Ier. 25, 3) 12 A hwy a wasanaethasent eulynnod, [am] y rhai y dywedase yr Arglwydd wrthynt, * na wnewch y peth hyn.

(*Diar 29, 1. Deut. 31, 27. m Ier. 14, 11 a 25, 5) 13 Er i'r Arglwydd destiolaethu yn Israel, ac yn Iuda drwy law yr holl brophwydi, [a] phob gweledudd, gan ddywedyd, * Dychwelwch o'ch ffyrdd drygionus, m a chedwch fy ngorchymynnion, a'm deddfau, yn ol yr holl gyfraith yr hon a orchymynnais i'ch tadau: a'r hon a anfonais attoch chwi drwy law fyng-weision y prophwydi.

14 Etto ni wrandewent: eithr sythasant eu gwarrau, fel gwarrau eu tadau, y rhai ni chredasent yn yr Arglwydd eu Duw.

(n Rhuf. 1, 21. Ioan 4, 23, 24. Ies. 23, 7) 15 n Canys hwy a ddirmygasant ei ddeddfau ef, a'i gyfammod yr hwn a wnaethe efe a'i tadau hwynt, a'i destiolaethau ef [drwy] y rhai y testiolaethodd efe iddynt: a hwy a rodiasant ar ol oferedd nes eu myned yn ofer: [aethant] hefyd ar ol y cenhedloedd y rhai oeddynt o'i hamgylch [am] y rhai y gorchymynnase yr Arglwydd iddynt, na wnelent fel hwynt hwy.

(*Ex. 32, 4. 1 Bren. 12, 28. Ier. 8, 2. 1 Bren. 16, 33) 16 * Eithr hwynt a wrthodasant holl orchymynnion yr Arglwydd eu Duw, ac a wnaethant iddynt ddelw dawdd, [nid amgen] dau lô: gwnaethant hefyd lwyn, ac ymgrymmasant i holl lu y nefoedd, a gwasanaethasant Baal.

17 A hwynt a yrasant eu meibion ai merched drwy yr tân, a dewiniasant ddewiniaeth, a daroganasant: ymroddasant hefyd i wneuthur yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd, gan ei ddigio ef.

(o Deut. 11, 12. Hos. 11, 8) 18 o Am hynny yr Arglwydd a ddigiodd yn ddirfawr wrth Israel, ac a'i trossodd hwynt o'i wydd efe: [ac] ni adawyd onid llwyth Iuda yn unic.

(p Ier. 3, 8) 19 p Ni adawodd Iuda ychwaith orchymynnion yr Arglwydd eu Duw: eithr hwy a rodiasant yn neddfau yr Israeliaid y rhai y wnelsent hwy.

(q Pen. 13, 3. a 15, 29. 1 Bren 11, 31. a 12, 16) 20 q Am hynny yr Arglwydd a ddiystyrodd holl hâd Israel, ac ai cystuddiodd hwynt, rhoddodd hwynt hefyd yn llaw yr anrheithwŷr: nes iddo eu taflu hwynt oi ŵydd.

21 Canys efe a rwygodd Israel oddi wrth dŷ Ddafydd, a hwynt a wnaethant Ieroboam fab Nabat yn frenin: ac Ieroboam a yrrodd Israel oddi ar ôl yr Arglwydd, ac a wnaeth iddynt bechu pechod mawr.

22 A meibion Israel a rodiasant yn holl bechodau Ieroboam y rhai a wnaeth efe: heb gilio oddi wrth hynny.

(r 1 Bren. 13, 34. a 14, 16) 23 r Nes i'r Arglwydd fwrw ymmaith Israel o'i ŵydd ef, fel y llefarase drwy law ei holl weision y prophwydi: ac Israel a gaeth-gludwyd o'i wlad ei hun i Assyria hyd y dydd hwn.

(s Ezra 4, 2. Gen. 10. Deut. 23. Num. 21. Gen. 6. Mat. 10. t Eph. 2. Esa. 29. Mat. 15) 24 s A brenin Assyria a ddug [bobl] o Babilon, o Cutha hefyd, ac o Afa, o Hemoth hefyd, ac o Sepharfaim, ac a'i cyfleuodd hwynt yn ninasoedd Samaria, yn lle meibion Israel: felly hwynt a orescynnasant Samaria, ac a drigasant yn ei dinasoedd hi.

25 t Ac yn nechreu eu trigas hwynt yno nid ofnasant hwy yr Arglwydd: am hynny'r Arglwydd a anfonodd lewod yn eu plith hwynt y rhai ai lladdasant hwy.

(u 1 Bren. 11, 31. 2 Cron. 11, 15. Rhuf. 16, 18. Barn. 17, 18) 26 Am hynny y mynegwyd i frenin Assyria gan ddywedyd, Y cenhedloedd y rhai a gaethgludaist ti, ac a gyfleuaist yn ninasoedd Samaria nid adwaenent ddefod Duw y wlad: am hynny efe a anfonodd lewod yn eu mysc hwynt, ac wele lladdasant hwynt, am na wyddent ddefod Duw y wlad.

27 u Yna brenin Assyria a orchymynnodd gan ddywedyd, Cyrchwch yno un o'r offeiriaid y

rhai a gaeth-gludasoch oddi yno, i fyned, ac i drigo yno: ac i ddysgu iddynt ddefod Duw y wlad [honno.]

v 1Bren. 12, 32 1Cor. 8, 5 Rhuf. 1, 23 Mat. 10, 5 Ioan 4, 9 Luc 17, 6 28 [v] Felly un o'r offeiriaid y rhai a gaeth-gludasent hwy o Samaria a ddaeth ac a drigodd yn Bethel: ac efe a ddyscodd iddynt hwy pa fodd yr ofnent yr Arglwydd.

29 Etto pob cenhedlaeth oeddynt yn gwneuthur eu duwiau: ac a'i gosodasant yn nhai yr uchelfeudd y rhai yr oeddynt yn presswylio ynddynt.

30 Canys gwŷr Babilon a wnaethant Succoth Benoth, a gwŷr Cutha a wnaethant Nergal: gwŷr Hemath hefyd a wnaethant Asima.

w Lef. 18, 21 31 [w] A'r Afaid a wnaethant Nibcaz, a Thartac: a'r Sepharfiaid a loscasant eu meibion mewn tân i Adramelech, ac i Hanamelech duwiau y Sepharfiaid.

x Seph. 1, 5 1Bren. 12, 31 32 [x] Felly hwy a ofnasant yr Arglwydd: ac a wnaethant iddynt rai oi gwehilion ei hun yn offeiriaid yr uchelfeudd, y rhai a wnaethant [aberthau] iddynt yn nhŷ'r uchelfeudd.

33 Yr Arglwydd yr oeddynt hwy yn ei ofni, etto gwasanaethu'r oeddynt eu duwiau yn ol defod y cenhedloedd y rhai a gaeth-gludasent oddi yno.

y Deut. 28, 64 34 [y] Hyd y dydd hwn y maent hwy yn gwneuthur yn ôl eu hen arferion: nid ydynt yn ofni 'r Arglwydd, ac nid ydynt yn gwneuthur yn ol eu deddfau hwynt, nac yn ol eu harfer, nac yn ol y gyfraith, nac yn ol y gorchymyn yr hwn a orchymynnodd yr Arglwydd i feibion Iacob, yr hwn y gosododd efe * ei enw yn Israel.

*Gen. 32 28 a 35. 10 Gen. 17, 7 Barn. 6 10 Ex. 20, 5 35 A'r Arglwydd a wnaethe gyfammod a hwynt, ac a orchymynase iddynt gan ddywedyd, Nac ofnwch dduwiau dieithr; ac nac ymgrymmwch iddynt, na wasanaethwch hwynt ychwaith, ac nac aberthwch iddynt hwy.

z Ex. 6, 6 Deut. 5, 15 Ier. 32, 21 Deut. 6, 13 36 [z] Ond yr Arglwydd yr hwn a'ch dûg chwi i fynu o wlâd yr Aipht, mewn nerth mawr, ac a braich estynnedic, ef a ofnwch chwi: iddo ef hefyd yr ymgrymmwch, ac iddo ef yr aberthwch.

a 1 Bren. 3, 3 37 [a] Y deddfau hefyd a'r barnedigaethau, a'r gyfraith, a'r gorchymyn y rhai a scrifenodd efe i chwi a gedwch chwi, gan [eu] gwneuthur yr holl ddyddiau: ac nac ofnwch dduwiau dieithr.

b Deut. 6, 12 a 8, 11 38 [b] Ac nac anghofiwch y cyfammod yr hwn a ammodais a chwi: ac nac ofnwch dduwiau dieithr.

39 Eithr ofnwch yr Arglwydd eich Duw: ac efe a'ch gwared chwi o law eich holl elynnion.

c Ioan 4, 9 Seph 1, 5 40 Ond ni wrandawsant hwy, eithr yn ol eu hên arfer y gwnaethant hwy.

Ios. 24, 19 Dat. 3, 16 1Bren 18, 21 41 [c] Felly y cenhedloedd hyn fuant yn ofni yr Arglwydd, ac yn gwasanaethu eu delwau cerfiedic: eu meibion, a'i hwyrion [a wnaethant felly,] fel y gwnaeth eu tadau hwynt, y maent hwy yn gwneuthur hyd y dydd hwn.

## PEN. XVIII.

*Duwioldeb Hezecia yn torri y sarph brês, a'r delwau eraill, ai lwyddiant. 30 Mawr-hydri a chabledd Senacherib, ai was Rabsaceh yn erbyn Duw.*

AC [d] yn * y drydydd flwyddyn i Hosea fab Elath brenin Israel, y teyrnasodd Hezecia mab Ahaz brenin Iuda. d Pen17, 1 Mat. 1, 9 * 2Cron. 28, 27 a 29

2 [f] Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe pan aeth efe yn frenin, a naw mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw ei fam ef [oedd] Abi merch Zacharia. 1 2 Cron. 28, 1 a 29, 1 f 2 Cron. 29, 1 Pen14, 29

3 [g] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd uniou yngolwg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a'r a wnaethe Dafydd ei dâd ef. g Pen 20, 3 1Bren, 15 5

4 Efe a dynnodd ymaith yr uchelfeudd, ac a ddrylliodd eu delwau hwynt, ac a dorrodd eu llwynau: ac a faluriodd * y sarph brês yr hon a wnelse Moses, canys hyd y dyddiau hynny yr oedd meibion Israel yn arogl-darthu iddi hi, ac efe ai galwodd hi Nehustan. *Deut. 7 5 Num. 21 9 Ier. 10, 5

5 [h] Yn Arglwydd Dduw Israel yr ymddyriedodd efe: ac ar ei ol ef ni bu ei fath ef ym mhlith holl frenhinoedd Iuda, nac [ym mysc] y rhai a fuasent oi flaen ef. h Pen 19, 10 Iob 13, 15 Sal. 13, 5 1Bren. 15 23 Pen 23, 25

6 [i] Canys efe a lŷnodd wrth yr Arglwydd, ni throdd efe oddi ar ei ôl ef: eithr efe a gadwodd ei orchymynnion ef y rhai a orchymynnase yr Arglwydd wrth Moses. i Deut. 10 20 Rhuf. 12, 9 Ios. 23, 9

7 [j] Felly yr Arglwydd fu gyd ag ef, i ba le bynnac yr aeth, efe a lwyddodd: ac efe a wrthryfelodd yn erbyn brenin Assyria, ac nis gwasanaethodd ef. j 1Sam. 18 14 Num. 24 18 Sal. 60, 12 Pen 16, 7

8 [k] Efe a darawodd y Philistiaid hyd Azza ai therfynau yn gystal pôb tŵr gwil-wyr, a phob dinas gaeroc. k 2Cron. 28, 18

9 [l] Ac * yn y bedwaredd flwyddyn i'r brenin Hezecia (honno [oedd] y seithfed flwyddyn i Hosea fab Elath brenin Israel) y daeth Salmaneser brenin Assyria i fynu yn erbyn Samaria, ac y gwarchaodd efe arni hi. *Pen17, 3 l 2Pedr 2, 9

10 Ac ym mhen y tair blynedd yr ennillwyd hi, yn y chweched flwyddyn i Hezecia: (honno [oedd] y nawfed flwyddyn i Hosea brenin Israel) yr ennillwyd Samaria.

11 [m] Yna brenin Assyria a gaeth-gludodd Israel i Assyria: ac ai cyfleuodd hwynt yn Halah, ac yn Habor [wrth] afon Gozan, ac yn ninasoedd y Mediaid, m Pen17, 6

12 [n] Am na wrandawsent hwy ar lais yr Arglwydd eu Duw, eithr trosseddu o honynt hwy ei gyfammod ef[sef] yr hyn oll a orchymynnase Moses gwas yr Arglwydd: ni wrandawent, ac nis gwnaent [hwynt.] n Dan 9, 6 9

13 Ac yn y bedwaredd flwyddyn ar ddec i'r
*2 Cron. 32, 1 Esa. 36,1 Pen19 28 brenin Hezecia * y daeth Senacherib brenin
Assyria yn erbyn holl ddinasoedd caerog Iuda,
ac ai hennillodd hwynt.
o Pen 14, 19 Diar. 29, 25 14 ° Yna Hezecia brenin Iuda a anfonodd at
frenin Assyria i Lachis, gan ddywedyd, Pech-
ais, dychwel oddi wrthyf, dygaf yr hyn a rodd-
ech arnaf: a brenin Assyria a osododd ar He-
zecia brenin Iuda dry-chant o dalentau ariau,
a dec ar hugain o dalentau aur.
p Diar. 11, 4 Marc 3, 26, 34 15 ᵖ A Hezecia a roddodd yr holl arian a'r a
gafwyd yn nhŷ yr Arglwydd: ac yn nhryssor-
au tŷ yr brenin.
q 1Bren. 6, 3, 5 16 ᑫ Yn yr amser hwnnw y torrodd Hezecia
ddrysau teml yr Arglwydd, a'r colofnau y rhai
a orchgoddiase Hezecia brenin Iuda: ac ai
rhoddes hwynt i frenin Assyria.
r Sal.62,9 Esa. 7, 3 a 22, 9 17 ʳ A brenin Assyria a anfonodd Tharthan a
Rabsaris, a Rabsaceh o Lachis yn erbyn y
brenin Hezecia a llû dirfawr i Ierusalem: a
hwynt a aethant i fynu ac a ddaethant i Ierusal-
em, pan aethant i fynu, yna hwy a ddaethant,
ac a safasant wrth aber y llynn uchaf yr hwn
[sydd] ym mhriffordd maes y pannwr.
s Esa. 22, 15 18 ˢ Pan alwasant hwy am y brenin, yna y
daeth allan attynt hwy Eliacim mab Helcia, yr
hwn [oedd] benteulu: a Sobnah yr scrifen-
nudd, ac Ioab mab Asaph y cofiadur.
t Ier. 6, 9 Zec. 1,3, 19 Dat.15,6 Sal. 42,3 Sal.71,11 a 78, 19 Deut.25, 18 19 ᵗ A Rabsaceh a ddywedodd wrthynt hwy,
Dywedwch yn awr wrth Hezecia: fel hyn y dy-
wedodd y brenin mawr [sef] brenin Assyria,
Pa hyder [yw] hwn [yn] yr hwn yr ymddiried-
aist ti?
u Gen. 3,1 Mat. 4,3 Barn. 6, 13 Diar. 21 30. Iob 20, 3 20 ᵘ Meddwl yr ydwyt ti yn ddiau [Y mae
genif] ymadrodd, cyngor, a nerth [sydd raid] i
ryfel: ar bwy yn awr yr hyderaist ti: pan wrth-
ryfelaist i'm herbyn i?
v Esa.36, 6 Ezec.29, 6,7 21 ᵛ Wele yn awr ti a hyderaist ar y ffon gor-
sen ddrylliedic honno [sef] ar yr Aipht, yr hon
pwy bynnac a bwysso arni, yna hi a aiff i gledr
ei law ef, ac a dylla trwyddi hi: felly [y mae]
Pharao brenin yr Aipht i bawb a hyderant ar-
no ef.
w 2Cron. 31, 1 2 Cron. 32, 12 22 ʷ Ac os dywedwch chwi wrthif, Yn yr Ar-
glwydd ein Duw yr ydym ni yn ymddiried:
onid efe [yw] yr hwn y tynnodd Hezecia ym-
maith ei uchelfeudd, ai allorau, ac y dywedodd
wrth Iuda, ac wrth Ierusalem, O flaen yr allor
hon yr ymgrymmwch chwi yn Ierusalem.
23 Ac yn awr dod wystl attolwg i'm har-
glwydd brenin Assyria: a rhoddaf i ti ddwy
fil o feirch, os gelli di roddi iddo ef rai a farch-
ogant arnynt hwy.
24 A pha fodd y gwrthwynebi di un capten o'r
gweision lleiaf i'm harglwydd? ac yr ymddyr-
iedi di yn yr Aipht am gerbydau a gwŷr meirch?

25 ˣ Ai o anfodd yr Arglwydd y daethum i i x 1Bren. 13, 18
fynu yn erbyn y lle hwn i'w ddinistrio ef? yr Pen19,15
Arglwydd a ddywedodd wrthif, Dos i fynu yn Esa. 10,6
erbyn y wlad hon, a dinistria hi.
26 Yna y dywedodd Eliacim mab Helcia, Sob-
na hefyd, ac Ioab wrth Rabsaceh, Llefara at-
tolwg wrth dy weision yn Syrian-aec, canys yr
ydym ni yn [ei] deall hi: ac na lefara wrthym
ni yn iaith yr Iuddewon lle y clywo yr bobl y
rhai [ydynt] ar y mur.
27 ʸ Ond Rabsaceh a ddywedodd wrthynt y Deut. 28, 53
hwy, Ai at dy feistr di, ac atat tithe yr anfonodd Pen6,25
fy meistr fi i lefaru y geiriau hyn? ond at y
dynion y rhai ydynt yn eistedd ar y mur, fel y
bwytâont eu tom eu hun, ac yr yfant eu trwngc
eu hun gyd a chwi?
28 Felly Rabsaceh a safodd, ac a waeddodd
a llef uchel yn iaith yr Iuddewon; llefarodd
hefyd a dywedodd, Gwrandewch air y brenin
mawr [sef] brenin Assyria.
29 ᶻ Fel hyn y dywedodd y brenin, Na thwyll- z Dan. 3, 15, 17
ed Hezecia chwi; canys ni ddichon efe eich Esa. 19, 10, 11
gwaredu chwi o'm llaw i. Dan. 7, 25
30 Ac na phared Hezecia i chwi ymddyried Dat.13,6
yn yr Arglwydd, gan ddywedyd, Yr Arglwydd
gan waredu a'ch gwared chwi; ac ni roddir y
ddinas hon yn llaw brenin Assyria.
31 Na wrandewch ar Hezecia; canys fel hyn
y dywedodd brenin Assyria, Gwnewch fwynder
a mi, a dewch attafi, yna y cewch fwyta bob un
oi win-wydden ei hun, a phob un oi ffigus-bren,
ac yfed pawb ddwfr ei ffynnon ei hun,
32 ᵃ Nes i'm ddyfod a'ch dwyn chwi i wlad a Ex. 3,8
megis eich gwlad eich hun; gwlad ŷd, a gwin, Iob 20,17
gwlad bara, a gwin-llannoedd, gwlad olew oli- Deut.8, 13, 14
wydd, a mêl, fel y byddoch fyw, ac na bydd-
och feirw; ac na wrandewch ar Hezecia pan
hudo efe chwi gan ddywedyd, Yr Arglwydd
a'ch gwared chwi.
33 ᵇ Gan waredu a lwyr waredodd duwiau y b Sal. 115
cenhedloedd, bob un ei wlad ei hun o law bren- 38 Deut.32,
in Assyria? 31
34 ᶜ Mae duwiau Hemath, Arphad? mae duw- c Ier. 49,
iau Sepharfaim, Hena, ac Ifa? a achubasant 23 Pen17,31
hwy Samaria o'm llaw i? 30, 31
35 Pwy [sydd] ym mhlith holl dduwiau y
gwledydd a'r a waredasant eu gwlad o'm llaw
i? fel y gwarede yr Arglwydd Ierusalem o'm
llaw i?
36 ᵈ Yna y bobl a dawsant, ac nid attebasant d Mat. 7, 6
air iddo ef: canys gorchymyn y brenin [oedd] Diar. 26, 4
hyn gan ddywedyd, Nac attebwch ef.
37 Yna y daeth Eliacim mab Helcia yr hwn

Pen. XVIII. adn. 26.] "Lle y clywo'r bobl." Fe fynnai Eliacim gyttuno rhyngddynt â'u gilydd, rhag i'r milwyr rwystro'r heddwch; ond Rabsace fynnai eu hudo i ymado â'u meistr.

[oedd] benteulu, a Sobna yr scrifennudd, ac
Ioab mab Asaph o cofiadur at Hezecia a gwisc-
oedd rhwygedic: ac a fynegasant iddo ef eiriau
Rabsaceh.

## PEN. XIX.

*Duw yn addo, ac yn rhoddi i Hezecia y fuddugoliaeth yn erbyn Senacherib. 37 Ai feibion ei hun yn lladd Senacherib.*

A PHAN ᵃ glybu y brenin Hezecia [hynny,]
a Esa. 37, 1 yna efe a rwygodd ei ddillad: ac a wiscodd
2Cron 32 1 sach-liain, ac a aeth i mewn i dŷ yr Arglwydd.
2Cron. 7, 15 2 ᵉ Ac a anfonodd Eliacim yr hwn [oedd]ben-
e Pen. 3, 12 teulu, a Sobna yn scrifennudd, ac henuriaid yr
Iago 5,16 offeiriaid wedi ymwysco mewn sach-liain at
17 Esay fab Amos y prophwyd.
f Sal. 50, 15 3 ᶠ Ac hwy a ddywedasant wrtho ef, Fel hyn
Sal. 123, 3 y dywedodd Hezecia, Diwrnod cyfyngdra, a
Pen 18, 29 cherydd, a chabledd [yw] yr dydd hwn; can-
Deut.32, 36 ys y meibion a ddaethant hyd yr anedigaethfa,
Hos. 13, 3 ond nid [oes] grym i escor.
4 ᵍ Ond odid fe a wrendu yr Arglwydd dy
Ien. 22, 4 Dduw ar holl eiriau Rabsaceh (yr hwn a an-
1Bren. 17 fonodd brenin Assyria ei feistr ef i gablu y Duw
Sam.16 byw) ac i geryddu a geiriau y rhai a glybu
Pen 18, 5 yr Arglwydd dy Dduw; am hynny dercha dy
Sal.50,21 weddi dros y gweddill yr hwn sydd i'w gael.
Cron.28 5 Felly gweision y brenin Hezecia a ddaeth-
Pen 17,3, ant at Esay.
Ex, 14, 3 6 ʰ Ac Esay a ddywedodd wrthynt hwy, Fel
Pen 18,35 hyn y dywedwch wrth eich meistr; Fel hyn y
Dat. 13,6 dywedodd yr Arglwydd, Nac ofna rhac y geir-
iau y rhai a glywaist [drwy] y rhai y cablodd
gweision brenin Assyria fi.
7 Wele fi yn rhoddi yn ei erbyn ef wynt, fel y
clywo efe drwst, ac y dychwelo iw wlâd;
gwnaf hefyd iddo syrthio ar gleddyf yn ei wlâd
ei hun.
Pen 14, 8 ⁱ Yna y dychwelodd Rabsaceh, ac y cafodd
frenin Assyria yn ymladd yn erbyn Libna:
Dat. 12, canys efe a glywse fyned o honaw ef o Lachis.
9 ʲ A phan glybu efe am Thirhaca brenin Ethi-
opia gan ddywedyd, Wele efe a aeth allan i ryfela
a thi; yna efe a ddychwelodd, ac a anfonodd
gennadau at Hezecia gan ddywedyd,
Pen 18, 10 ᵏ Fel hyn y lleferwch wrth Hezecia brenin
Iuda gan ddywedyd, Na thwylled dy Dduw di
yr hwn yr wyt yn ymddiried ynddo gan ddywed-
yd, Ni roddir Ierusalem yn llaw brenin Assyria.
11 Wele ti a glywaist yr hyn a wnwaeth bren-
hinoedd Assyria i'r holl wledydd gan eu difrodi
hwynt, ac a waredir di?
12 ˡ A waredodd duwiau y cenhedloedd
hwynt, y rhai a ddarfu i'm tadau i eu dinistrio,
sef Gosan, a Paran, a Reseph, a meibion Eden
y rhai [oeddynt] o fewn Thelassar?
13 Mae brenin Hemath? a brenin Arphad? a

brenin dinas Sepharfaim, Hena ac Ifa?
14 ᵐ A Hezecia a gymmerodd y llythyrau o m 1Bren.
law y cennadau; ac ai darllenodd hwy, yna efe 8, 28
a aeth i fynu i dŷ yr Arglwydd, a Hezecia ai
lledodd hwynt ger bron yr Arglwydd.
15 ⁿ Yna Hezecia a weddiodd ger bron yr n Ex. 25,
Arglwydd, ac a ddywedodd, O Arglwydd 18 Heb.4,16
Dduw Israel yr hwn wyt yn aros[rhwng]y Cer- Esa. 44,6 Ier.10,11
ubiaid, ti yn unic ydwyt Dduw ar holl deyrnas-
oedd y ddaiar: ti wnaethost, y nefoedd a'r ddaiar.
16 ᵒ Gogwydda Arglwydd dy glust, a gwran- o Sal.31,2
do, agor dy lygaid Arglwydd ac edrych: gwran- 2Cron.6,
do hefyd eiriau Senacherib, yr hwn a anfonodd 40
i ddifenwi y Duw byw.
17 ᵖ Gwir [yw] O Arglwydd, i frenhinoedd
Assyria ddifa'r holl genhedloedd ai tir hwynt, p Num. 14, 9
18 ᑫ A rhoddi eu duwiau hwynt yn tân: canys
nid [oeddynt] hwy dduwiau, eithr gwaith dwylo q Dat. 9, 20
dyn [o] goed, a maen, am hynny dinistriasant Ier.10,3, 5
hwy hwynt.
19 ʳ Yn awr gan hynny O Arglwydd ein Duw
achub ni, attolwg oi law ef: fel y gwypo holl deyr- r 1Bren. 8, 28
nasoedd y ddaiar mai tydi yn unic [yw],'r Sal.83,18
Arglwydd Dduw.
20 ˢ Yna Esay mab Amos a anfonodd at He- s Dan. 9 20
zecia gan ddywedyd, Fel hyn y dywedodd Ar- Sal.65, 2.
glwydd Dduw Israel: gwrandewais ar yr hyn
a ddeisyfaist arnafi yn erbyn Senacherib bre-
nin Assyria.
21 ᵗ Dymma'r gair yr hwn a lefarodd yr Ar-
glwydd yn ei erbyn ef: Y forwyn merch Sion t Hos 11, 12
a'th ddirmygodd di, [ac] a'th watwarodd, Zec. 2, 5 Esa. 8, 9
merch Ierusalem a escydwodd ben ar dy ôl di. 10
22 ᵘ Pwy a ddifenwaist ti, ac a geblaist: ac Galar. 2, 15
yn erbyn pwy y derchefaist di [dy] lef, ac y u Sal. 71, 22
codaist yn uchel dy lygaid: onid yn erbyn Esa.5,24
Sanct Israel?
23 ᵛ Trwy law dy gennadau y ceblaist ti yr v 1Bren.
Arglwydd, ac y dywedaist: Yn amldra fyngher- 18, 17 Sal. 20,7
bydau y dringais i uchelder y mynyddodd [gan] Pen 18,1 Esa. 10,
ystlysau Libanus: a mi a doraf uchelder ei cedr- 18
wŷdd ef ai ddewis ffynnidwŷdd ef, âf hefyd iw
llettŷ eithaf, [ac i]goed eu dol-dir hwynt.
24 ʷ Myfi a gloddiais, ac a yfais ddyfroedd w Num.
dieithr; a gwadnau fy nhraed hefyd y diyspy- 21, 18 Esa.10,5,
ddais yr holl afonydd gwarchaedic. 7
25 Oni chlywaist ti ddarparu o honofi hyn er ys
talm, ac i mi lunio hynny er y dyddiau gynt; yn
awr y dygum hynny i benn fel y bydde i ddin-
ystrio dinasoedd caeroe yn garneddau dinistrol.
26 ˣ Am hynny eu trigolion yn gwttoglaw a x Ier.5,10
ddychrynnwyd, ac a gywilyddiwyd; oeddynt Sal.127,1 a 129, 6
[megis] gwellt y maes, fel eginin llyssieun [neu]
laswelltyn ar bennau [tai,] neu olosciad ŷd
cyn corsi.
27 ʸ Dy eisteddiad hefyd, a'th fynediad, a'th y Sal.139. 2 Act. 9, 4

; a'th gynddeiriawgr-

iogi i'm herbyn, ac i'th
m i'm clustiau i; am
yn dy ffroen, a'm ffrw-
ddychwelaf di ar hyd
st.
rgoel i ti [O Hezecia] y
a dyfo o honaw ei hun,
attwf; ac yn y drydedd
edwch, plenwch win-
wch eu ffrwyth hwynt.
Iuda ['r hwn] a adewir
red, ac a ddwg ffrwyth

aiff allan o Ierusalem,
Sion; zêl Arglwydd y

n y dywedodd yr Ar-
a, Ni ddaw efe i'r ddin-
eth yno; hefyd ni ddaw
, ac ni fwrw glawdd iw

l ac y daeth y dychwel
i'r ddinas hon medd

f y ddinas hon, gan ei
hun, ac er mwyn Da-

o'r aeth angel yr Ar-
yng-werssyll yr Asyri-
aid, a chant o filoedd;
n foreu, ac wele hwynt
ren.
brenin Assyria a gych-
aith hefyd ac a ddych-
Ninife.
ddoli yn nhŷ Nesroth ei
ch a Sarazer ei feibion
eddyf, a hwynt a ddi
a; ac Asarhadon ei fab
f.

XX.

*farw yn esgyn ei einioes ef, dangos ei dryssor i'r Babilon- yn lle Hezecia.*

nny y clafychodd He-
Esay mab Amos y pro-
ac a ddywedodd wrtho,
Arglwydd, Trefna dy
e ni byddi byw.
wyneb at y pared; ac
ydd, gan ddywedyd,
cofia yr awr hon i mi
n gwirionedd, ac mewn
ithur yr hyn oedd dda

yn dy olwg di: a Hezecia a wylodd ag wylo-
fain mawr.
4 [j] A chyn myned o Esay allan i'r cyntedd
canol; yna y daeth gair yr Arglwydd atto ef,
gan ddywedyd,
5 [k] Dychwel, a dywet wrth Hezecia blaenor
fy mhobl i, Fel hyn y dywedodd Arglwydd
Dduw Dafydd dy dad ti, clywais dy weddi di,
gwelais dy ddagrau; wele fi yn dy iachau di, y
trydydd dydd yr ei di i fynu i dŷ'r Arglwydd.
6 [l] A mi a chwanegaf at dy ddyddiau di bym-
theng-mlynedd, ac a'th waredaf di, a'r ddinas
hon, o law brenin Assyria; ac amddiffynnaf y ddinas
hon er fy mwyn fy hun, ac er mwyn Dafydd
fyng wâs.
7 [m] Yna y dywedodd Esay, Cymmerwch swpp
o ffigus; a hwynt a gymmerasant, ac ai gosod-
asant ar y cornwyd, ac efe a fu fyw.
8 [n] Ac Hezecia a ddywedodd wrth Esay, Pa
arwydd [fydd] yr iachâ'r Arglwydd fi; ac yr
af fi i fynu i dŷ'r Arglwydd y trydydd dydd?
9 [o] Ac Esay a ddywedodd, Hyn [fydd] i ti yn
argoel oddi wrth yr Arglwydd, y gwna'r Ar-
glwydd y gair yr hwn a lefarodd efe; [a] aiff y
cyscod ddêc o raddau ym mlaen, neu [a] ddych-
wel efe ddêc o raddau yn ol?
10 [p] Ac Hezecia a ddywedodd, Hawdd yw i'r
cyscod ogwyddo ddêc o raddau; nid [felly gan
hynny,] onid dychweled y cyscod yn ei ol ddêc
o raddau.
11 [q] Ac Esay y prophwyd a lefodd ar yr
Arglwydd; ac efe a drôdd y cyscod ar hyd y
graddau, (ar hyd y rhai y descynnase efe yn
neial Ahaz) ddêc o raddau yn ei ol.
12 Yn yr amser hwnnw'r anfonodd [*] Berodac
Baladan, mab Baladan brenin Babilon lythyr-
au, ac anrheg at Hezecia yn glâf.
13 [r] Ac Hezecia a wrandawodd arnynt hwy,
ac a ddangosodd iddynt hwy holl dŷ ei dryssor
ef [sef] yr arian, a'r aur, a'r pêr aroglau, a'r olew
goref, a thŷ ei arfau ef, a'r hyn oll a'r a gafwyd
yn ei dressorau ef; nid oedd dim yn ei dŷ ef,
nac yn ei holl gyfoeth ef yr hwn nas dangosodd
Hezecia iddynt hwy.
14 [s] Yna Esay y prophwyd a ddaeth at y
brenin Hezecia, ac a ddywedodd wrtho ef, Beth
a ddywedodd y gwŷr hynny, ac o ba le y daeth-
ant hwy attat ti? a dywedodd Hezecia, O wlâd
bell y daethant hwy [sef] o Babilon.
15 [t] Yntef a ddywedodd, Beth a welsent hwy
yn dy dŷ di? a dywedodd Hezecia, Yr hyn oll
[oedd] yn fy nhŷ i a welsant hwy, nid oes dim
yn fy nhressorau i a'r nas dangosais i iddynt
hwy.
16 Ac Esay a ddywedodd wrth Hezecia,
Gwrando air yr Arglwydd.

Pen 18, 17 Wele y dyddiau yn dyfod pan * ddygir i
13 Ier. 27, Babilon yr hyn oll [sydd] yn dy dŷ di, a'r hyn a
22 a 52, 17 gynhilodd dy dadau hyd y dydd hwn: ni adew-
ir dim medd yr Arglwydd.
n 2Cron. 18 ⁿ Cymmerant hefyd o'th feibion di y rhai a
33, 11 ddeuant allan o honot ti [sef] y rhai a genhedli
Dan. 1, 3 Pen 24,12 di, i fod yn stafellyddion yn llŷs brenin Babilon.
y 1 Sam. 3, 19 ʸ Yna Hezecia a ddywedodd wrth Esay,
18 Iob 1, 21 Da yw gair yr Arglwydd yr hwn a leferaist:
Sal. 39, 9 Zec. 8, 19 dywedodd hefyd, Oni bydd heddwch a gwir-
Heb. 13, 14 ionedd yn fy nydd i?
Rhuf. 15, 20 ʷ A'r rhan arall o hanes Hezecia, ai holl
5 w Neh. 3, rym ef, ac fel y gwnaeth efe y llynn, a'r pistill,
16 Pen. 18, 16 ac y dûg efe y dyfroedd i'r ddinas: onid ydynt
2 Cron. 32, 3, 4 hwy yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhin-
oedd Iuda?
x 1 Bren. 21 ˣ Ac Hezecia a hunodd gyd ai dadau: a
1, 10 Manasses ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XXI.

*Wedi i Manasses fyw yn ddrygionus. 18 Y teyrnasodd Amon annuwiol yn ei le ef. 23 Yr hwn a laddwyd gan ei weision, ac Iosia dduwiol a deyrnasodd yn ei le yntef.*

a 2Cron. MAB * deuddeng-mlwydd [oedd] Manasses
33, 1 Pen 20, 6 pan ddechreuodd efe deyrnasu, a phym-
theng-mhlynedd a deugain y teyrnasodd efe yn
Ierusalem: ac enw ei fam ef [oedd] Haphsiba.
2 ʸ Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-
olwg yr Arglwydd: yn ôl ffieidd-dra y cenhedl-
Pen 20, oedd y rhai a fwriodd yr Arglwydd allan o
Bren. 14 flaen meibion Israel.
1 Bren. 3 ᵃ Canys efe a drôdd, ac a adailadodd yr uch-
elfeudd y rhai a ddinistriase Hezecia ei dâd ef:
Bren. 16, 33 ac a gyfododd allorau i Baal, ac a wnaeth lwyn
fel y gwnelse Ahab brenin Israel, ac efe a addol-
odd holl lu y nefoedd, ac ai gwasanaethodd
hwynt.
Ier. 32, 4 ᵃ Adailadodd hefyd allorau yn nhŷ'r Ar-
Sam. 7, glwydd: [am] yr hwn y dywedase'r Arglwydd,
Yn Ierusalem y gosodaf fy enw.
1 Bren. 5 ᵇ Ac efe a adailadodd allorau i holl lu y nef-
36 oedd yn nau gyntedd tŷ'r Arglwydd.
Pen 6, 3 6 ᶜ Ac efe a yrrodd ei fâb drwy dân, dewin-
ef. 18, 12 ef. 19, 26 odd efe hefyd, a brudiodd, ac efe a fawrhaodd
eut. 18, 11, 14 swynyddion, a dewiniaid: efe a chwanegodd
wneuthur yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Ar-
glwydd iw ddigio ef.
Sam. 7 7 ᵈ Ac efe a osododd ddelw gerfiedic y llwyn
(yr hon a wnelse efe) yn y tŷ [am] yr hwn y dy-
wedase'r Arglwydd wrth Ddafydd, ac wrth
1 Bren. Salomon ei fab ef, * Yn y tŷ hwn, ac yn Ierusa-
29, 3 lem yr hon a ddewisais i o holl lwythau Israel
en 23, y gosodaf fy enw yn dragywydd.
2 Cron. 8 ᵉ Ac ni chwanegaf symmud troed Israel o'r
4, 8 en 18, 11 wlâd yr hon a roddais iw tadau hwynt: os cad-
ef. 26, 14 want ar wneuthur yr hyn oll a'r orchymynnais
iddynt hwy, ac yn ol yr holl gyfraith yr hon a
orchymynnodd fyng-was Moses iddynt hwy.
9 ᶠ Ond ni wrandawsant hwy: a Manasses ai f Diar. 29
cyfeiliornodd hwynt i wneuthur yn waeth na'r 12 Dat. 2, 20
cenhedloedd y rhai a ddifethase yr Arglwydd Iago 4, 17 Ioan 9, 41
o flaen meibion Israel. a 15, 22
10 Am hynny y llefarodd yr Arglwydd drwy
law ei weision y prophwydi gan ddywedyd,
11 ᵍ O herwydd i Manasses brenin Iuda g Ier. 15,
wneuthur y ffieidd-dra hyn, gan wneuthur yn 4
waeth na'r hyn oll a'r a wnaethe yr Amoriaid y
rhai [fuant] oi flaen ef: a pheri o honaw i Iuda
bechu drwy eu heulynnod.
12 ʰ Ie o blegit hynny, fel hyn y dywedodd h Mica 3,
Arglwydd Dduw Israel, Wele fi yn dwyn drwg 12
ar Ierusalem, ac Iuda: fel y merwino dwy-glust Galar. 1, 1
y neb a glywant hynny. Dan. 9, 12 Ier. 19, 3
13 ⁱ A mi a estynnaf linin mesur Samaria ar 1 Sam. 3,
Ierusalem, a phwys tŷ Ahab: scwriaf hefyd 1 i Amos 7,
Ierusalem, fel y scwria [un] gwppan [yr hwn 8 Seph. 1, 6
pan] scwria efe [ef] yna efe ai trŷ ar ei wyneb. Esa. 34,
14 ʲ A mi a wrthodaf weddill fy etifeddiaeth, 11 Ier. 22, 30
ac ai rhoddaf hwynt yn llaw ei gelynnion: ac a 26, 29 j Amos 1,
hwynt a fyddant yn anrhaith, ac yn yspail i'w 5
holl elynion,
15 ᵏ Am iddynt wneuthur yr hyn oedd ddrwg k 1 Bren.
yn fyng-olwg i, ai bod yn fy nigio i er y dydd 8, 9
[yn] yr hwn y daeth eu tadau hwynt allan o'r
Aipht hyd y dydd hwn.
16 ˡ Manasses hefyd a dywalldodd lawer iawn l Dan. 3,
o waed gwirion hyd oni lanwodd efe Ierusa- 5
lem o benn bwy gilydd: heb law ei bechod 1 Bren. 11, 6
[drwy] yr hwn y gwnaeth efe i Iuda bechu, gan
wneuthur yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Ar-
glwydd.
17 ᵐ A'r rhan arall o hanes Manasses, a'r hyn m 2Cron.
a wnaeth efe, ai bechod yr hwn a bechodd efe: 33, 3, 18
onid ydynt hwy yn scrifenedic yn llyfr Cronicl
brenhinoedd Iuda?
18 ⁿ A Manasses a hunodd gyd ai dadau, ac n 2Cron.
a gladdwyd yng-ardd ei dŷ ei hun [sef] yng- 33, 20
ardd Uzzia: ac Amon ei fab ef a deyrnasodd Mat 1, 10
yn ei le ef.
19 ᵒ Mab dwy flwydd ar hugain [oedd] Am- o Num.
mon pan ddechreuodd efe deyrnasu, a dwy 33, 33
flynedd y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw Deut. 10,
ei fam ef [oedd] Mesulemeth merch Haruz o 7
Iotbah.
20 Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-
olwg yr Arglwydd: fel y gwnelse Manasses ei
dad ef.
21 ᵖ Canys efe a rodiodd yn yr holl ffordd y p 1 Bren.
rhodiase ei dad ef: ac a wasanaethodd eulyn- 15, 26
nod, y rhai a wasanaethase ei dad ef, ac a ym-
grymmodd iddynt hwy.
22 ᵠ Ac efe a wrthododd Arglwydd Dduw ei q Ier. 2, 13
dadau: ac ni rodiodd yn ffordd yr Arglwydd. 1 Bren. 11, 33

r Pen. 14, 9 23 [r] A gweision Ammon a frad-fwriadasant
2 Cron. 24, 21 yn ei erbyn ef, ac a laddasant y brenin yn ei dŷ
ei hun.
s Mat. 7, 2 24 [s] A tharawodd pobl y wlâd yr holl rai a
Barn. 1, 7 frad-fwriadasent yn erbyn brenin Ammon: a
Pen 16, 20 phobl y wlâd a osodasant Iosia ei fab ef yn fre-
Esa. 3, 2, 3, 4 nin yn ei le ef.
Act. 1, 25, 26 25 A'r rhan arall o hanes Ammon a'r hyn a
wnaeth efe: onid ydynt hwy 'n scrifennedic yn
llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?
26 A chladdwyd ef yn ei feddrod yng-ardd
Uzza: ac Iosia ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef

## PEN. XXII.

*Iosia yn cyweirio y deml. 8 Helcia yn cael llyfr y gyfraith, ac yn ei ddangos ef i Iosia. 12 Yntef yn gyrru i ymgynghori a Huldah y brophwydes.*

* 2 Cro. 34, 1 MAB *wyth mlwydd [oedd] Iosia pan aeth
1 Bre. 13, 2 efe yn frenin, ac un mlynedd ar ddec ar
Ios. 15, 39 hugain y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw
ei fam ef [oedd] Iedida merch Adaia o Boscath
t 1 Bren. 11, 33 2 [t] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd inion yng-o
a 15, 31 lwg yr Arglwydd: ac a rodiodd yn holl lwybr-
Deu. 5, 32. au Dafydd ei dad, ac ni throdd efe ar y llaw
ddehau, nac ar y llaw asswy.
3 Ac yn y ddeunawfed flwyddyn i frenin Io-
sia, y brenin a anfonodd Saphan fab Asalia, fab
Mesulam yr scrifennudd i dŷ'r Arglwydd, gan
ddywedyd,
u Ier. 1, 1 4 [u] Dos i fynu at Helcia yr arch-offeiriad, fel
2 Cron. 8, 14 y cwplao efe [drefnu] 'r arian y rhai a dduc-
a 34, 9 pwyd i dŷ'r Arglwydd: y rhai a gasclodd gwil-
wyr y cyntedd gan y bobloedd.
v 2 Cron. 34, 12 5 [v] A rhoddant hwy yn llaw gweithwyr y
gwaith a'r swyddogion yn nhŷ'r Arglwydd: a
rhoddant hwy i'r rhai ydynt yn gwneuthur y
gwaith yr hwn [sydd] yn nhŷ'r Arglwydd i gy-
weirio agennau y tŷ.
w Pen 12, 12 6 [w] I'r seiri, ac i'r adeiladwyr, ac i'r priddwyr:
ac i brynu coed, a cherric nadd i adnewyddu
yr tŷ.
7 [x] Etto na chyfrifer a hwynt am yr arian, y
x Pen 12, 12 rhai o roddwyd yn eu llaw hwynt: canys y
2 Tim 2, 2 maent hwy'n gwneuthur yn ffyddlon.
Neh. 7, 2 8 [y] A * Helcia'r arch-offeiriad a ddywedodd
Diar. 28, 20 wrth Saphan yr scrifennudd, Cefais lyfr y gyf-
y Deut. 31, 24, 26 raith yn nhŷ'r Arglwydd: a Helcia a roddodd
* 2 Cron. 34, 24 y llyfr at Saphan, ac efe ai darllenodd ef.
9 Felly Saphan yr scrifennudd a ddaeth at y
brenin, ac a adroddodd y peth i'r brenin, ac a
ddywedodd, Dy weision di a doddasant yr ar-
ian yr hwn a gafwyd yn tŷ, ac ai rhoddasant yn
llaw gweith-wyr y gwaith [a] swyddogion tŷ'r
Arglwydd.
z Ier. 36, 21 10 [z] Saphan yr scrifennudd hefyd a fynegodd
i'r brenin gan ddywedyd, Helcia'r offeiriad a
roddodd i mi lyfr: a Saphan ai darllenodd ef
ger bron y brenin.
11 [a] A phan glybu y brenin eiriau llyfr y gyf- a Deut. 19
raith: yna efe a rwygodd ei wiscoedd. Gen 37, 29
12 Am hynny y brenin a orchymynnodd i 2 Cron. 34
Helcia'r offeiriad, ac i Abicam fab Saphan, ac i 8, 9, 20
Achbor fab Michaiah, i Saphan hefyd yr scrif-
ennudd, ac i Asaia gwas y brenin gan ddywedyd,
13 [b] Ewch, ymgynghorwch a'r Arglwydd
drosofi, a thros y bobl, a thros holl Iuda am b Ex. 20, 5
eiriau y llyfr hwn yr hwn a gawd: canys mawr Rhuf. 15, 4
yw llid yr Arglwydd yr hwn a enynnodd i'n ber- 1 Cor. 10, 6, 11
byn ni, o herwydd na wrandawodd ein tadau ni
ar eiriau y llyfr hwn i wneuthur yn ol yr hyn
oll a'r a scrifennwyd o'n plegit ni.
14 [c] Felly Helcia yr offeiriad, ac Ahicam, ac c Ex. 15, 20
Achbor, Saphan hefyd, ac Asai a aethant at Barn. 4, 4
Huldah y brophwydes, gwraig Salum mab
* Ticfa, fab Harhas ceidwad y gwiscoedd, (a hi
oedd yn trigo yn Ierusalem yn yr ail rhan,) a * 2 Cron. 34, 22
hwynt a ymddiddanasant a hi. Neh. 7, 72
15 A hi a ddywedodd wrthynt hwy, Fel hyn
y dywedodd Arglwydd Dduw Israel: Dywed-
wch i'r gwr yr hwn a'ch anfonodd chwi attafi,
16 [d] Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Wele d Dan. 9, 12
fi yn dwyn drwg ar y lle hwn, ac ar ei drigolion:
[sef] holl eiriau y llyfr yr hwn a ddarllenodd
brenin Iuda.
17 [e] Am iddynt fyng-wrthod i, ac arogl-darthu e Sal. 115, 4, 5
i dduwiau dieithr, i'm digio i a holl waith eu Deut. 31, 29
dwylo: am hynny'r enynn fy llid yn erbyn y Mica 5, 13
lle hwn, ac nis diffoddir ef. Ier. 7, 16
18 [f] Ond am frenin Iuda yr hwn a'ch anfon- Esa. 2, 8 f Esa. 5, 10
odd chwi i ymgynghori a'r Arglwydd, fel hyn
y dywedwch wrtho ef: Fel hyn y dywed Ar-
glwydd Dduw Israel [am] fyng-eiriau y rhai a
glywaist ti.
19 [g] O blegit i'th galon feddalhau, ac i tithe g Lef. 26, 44
ymostwng o flaen yr Arglwydd pan glywaist yr Diar. 28, 13
hyn a leferais am y lle hwn, ac am ei drigolion, Esa. 57, 15
i fod yn anghyfannedd, ac yn felldith, ac [am]
rwygo o honot dy wiscoedd, ac wylo ger fy
mron i: am hynny y gwrandewais inne medd
yr Arglwydd.
20 [h] O herwydd hynny wele mi a'th gymmer- h Gen. 15, 15
af di ymmaith at dy dadau, a thi a ddugir ym- Sal. 37, 37
maith i'th fedd mewn heddwch, fel na welo dy Amos 3, 7
lygaid yr holl ddrwg yr hwn yr ydwyfi yn ei
ddwyn ar y fann hon: felly hwynt a ddugasant
air i'r brenin drachefn.

## PEN. XXIII.

*Ioas yn darllen y gyfraith i'r bobl. 3 Yn gwneuthur cyfammod a Duw. 4 Yn difetha yr eulun dduwiau ai hoffeiriaid. 22 Yn cadw Pasc godidog, ac yn difetha y consurwyr. 29 Wedi lladd Iosia y teyrnasodd Ioachas ei fab ef. 33 Yr hwn a garcharodd Pharao Necho ac a wnaeth Ioachim ei frawd ef yn frenin.*

* 2Cron. YNA y brenin a * anfonodd: a holl henur-
34, 30 iaid Iuda, ac Ierusalem a ymgynnullas-
ant atto ef.
iNeh.8,1 2 i A'r brenin a aeth i fynu i dŷ'r Arglwydd,
2 Ier. 1, 1 a holl wŷr Iuda, a holl drigolion Ierusalem
Seph 1,1 Pen 18,4 gyd ag ef, yr offeiriaid hefyd a'r prophwydi, a'r
a 22, 8 holl bobl o fychan hyd fawr: ac efe a ddarllen-
odd lle y clywsant hwy oll eiriau llyfr y cyfam-
mod, yr hwn a gawsid yn nhŷ'r Arglwydd.
jLef. 1, 3 3 j A'r brenin a safodd wrth * y golofn, ac a
1 Bren. 11, 33 wnaeth gyfammod ger bron yr Arglwydd ar
Deut.1,5 Preg.8,5 fyned ar ol yr Arglwydd, ac ar gadw ei orch-
*Pen 11, ymynnion ef, ei destiolaethau, ai ddeddfau, ai
14 holl galon, ac ai holl enaid, gan gwplau geiriau
y cyfammod hwn, y rhai oeddynt scrifennedic
yn y llyfr hwnnw: a'r holl bobl a safodd wrth
y cyfammod.
kPen 21, 4 k Yna y brenin a orchymynnodd i Helcia
4,7, 21 1Bren.16 yr arch-offeiriad, ac i'r offeiriaid o'r ail [radd,]
33 ac i geidwaid y cyntedd ddwyn o deml yr Ar
1Bren.12 glwydd yr holl lestri y rhai a wnelsid i Baal,
29 Hos.10,5 ac i'r llwyn, ac i holl lu y nefoedd: ac ai llosc-
odd hwynt o'r tu allan i Ierusalem ym meusydd
Cedron, ac a ddug eu llwch hwynt i Bethel.
l Seph.1, 5 l Ac efe a ddiswyddodd offeiriaid [Baal] y
4 Hos.10,5 rhai a osodase brenhinoedd Iuda i arogl-darthu
Ier 3. 6 1Bren.17 yn yr uchelfeudd, [ac] yn ninasoedd Iuda, ac
16 yn amgylchion Ierusalem: a'r rhai oeddynt yn
arogl-darthu i Baal, i'r haul, ac i'r lleuad, ac i'r
planedau, ac i holl lu y nefoedd.
mPen 21, 6 m Efe a ddug allan hefyd y llwyn o dŷ'r Ar-
7 2Cro. 34, glwydd i'r tu allan i Ierusalem hyd afon Cedron,
4 ac ai lloscodd ef wrth afon Cedron, ac ai mal-
odd yn llwch: ac a daflodd ei lwch ar feddau
meibion y bobl.
n Deut. 7 n Ac efe a ddestruwiodd dai y Sodomiaid y
23, 17 1Bren.14 rhai [oeddynt] wrth dŷ'r Arglwydd: lle yr oedd
24 Act19,24 y gwragedd yn gweu cortynau i'r llwyn.
oGen. 21, 8 o Ac efe a ddug yr holl offeiriaid o ddinas-
31 1Bren.15 oedd Iuda, ac a halogodd yr uchelfeudd y rhai
22 yr oedd yr offeiriaid yn arogldarthu arnynt o
Geba hyd Beer-seba destruwiodd hefyd uchel-
feudd y pyrth y rhai [oeddynt wrth] ddrws
porth Iosuah tywysog y ddinas, yr hwn [oedd]
ar y llaw asswy i bawb [a'r a ddele] i borth y
ddinas.
p Ezec. 9 p Etto offeiriaid yr uchelfeudd ni ddaethant
4, 13 Ezra 44, i fynu at allor yr Arglwydd i Ierusalem: ond
hwy a fwytawsant fara croiw ym mysc eu brodyr.
q Ier.7,31 10 q Efe hefyd a ddifwynodd Topheth yr hon
Hos. 15. 8 Neh. 11, [oedd] yn nyffryn meibion Hinnom: fel na wnae
neb ei fab, nai ferch drwy dân i Moloch.
Mat.5.22 Marc 9, 11 r Ac efe a ddifethodd y meirch y rhai a
3 Bren. roddase brenhinoedd Iuda i'r haul, o ddyfodfa
1, 5 Ezec. 8, tŷ yr Arglwydd i stafell Nathan-melech yr staf-
elludd yr hwn [oedd swyddog] ar y pentrefydd:
ac efe a loscodd gerbydau'r haul yn tân.
12 s Yr allorau hefyd y rhai [oeddynt] ar nenn s Deut.
stafell Ahas, y rhai a wnelse brenhinoedd Iuda, 22, 8 Ier 19,13
a'r allorau y rhai a wnelse Manasses yn nau Seph. 1,5 Pen21, 5
gyntedd tŷ'r Arglwydd a ddestruwiodd y bren-
in: ac a redodd oddi yno, ac a daflodd eu llwch
hwynt i afon Cedron.
13 t Y brenin hefyd a ddifwynodd yr uchel- t Lef.18,
feudd y rhai [oeddynt] ar gyfer Ierusalem, y 21 Ezec.5,6
rhai [oeddynt] o'r tu dehau i fynydd y llwgred-
igaeth, y * rhai a adailadase Salomon brenin * 1Bren.
Israel i Asteroth gaudduw y Sidoniaid, ac i 11, 7 Neh. 13,
Chamos gaudduw y Moabiaid, ac i Milchom 26
gaudduw meibion Ammon.
14 Ac efe a ddrylliodd y delwau, ac a dor-
rodd y llwynau: ac a lanwodd eu lle hwynt âg
escyrn dynion.
15 Yr allor hefyd * yr hon [oedd] yn Bethel *1 Bren.
[a'r] uchelfa 'r hon a wnaethe Ieroboam mab 12, 33
Nabat [drwy] 'r hon y gwnaethe efe i Israel
bechu, ie 'r allor honno a'r uchelfa a ddestruw-
iodd efe: ac efe a loscodd yr uchelfa, [ac ai]
malodd yn llwch, ac a loscodd y llwyn.
16 Ac Iosia a edrychodd, ac a ganfu feddau
y rhai [oeddynt] yno yn y mynydd, anfonodd
hefyd, a chymmerth yr escyrn o'r beddau, ac
ai lloscodd ar yr allor, ac ai halogodd hi: yn
ol gair yr Arglwydd yr hwn a † gyhoeddase gŵr †dros 300
Duw, yr hwn a bregethase y geiriau hynny. mlynedd o'r blaen
17 u Yna efe a ddywedodd, Pa lun [yw] hwn 1Bre. 13,
yr hwn yr ydwyfi yn ei weled? a gwŷr y ddin- 2 Esa. 54 1
as a ddywedasant wrtho ef, Bedd gŵr Duw 'r u 1Bren.
hwn a ddaeth o Iuda, ac a brophwydodd y 13, 30, 31 2 Sam.3,
pethau hyn y rhai a wnaethost ti i allor Bethel. 18 Rhuf. 1,
18 Ac efe a ddywedodd, Gedwch ef yn llo- 18 *Esa. 57,
nydd, nac ymyred neb ai escyrn ef: felly'r ach- 7
ubasant ei escyrn ef gyd ag escyrn * y proph- 1 Bren. 13, 31
wyd yr hwn a ddaethe o Samaria. 1 Bren. 13, 11
19 v Iosia hefyd a dynnodd ymmaith holl dai a 16, 24
'r uchelfeudd y rhai [oeddynt] yn ninasoedd v 2Cron. 34, 6
Samaria, y rhai a wnelse brenhinoedd Israel i
ddigio ['r Arglwydd:] ac efe a wnaeth iddynt
yn ol yr holl weithredoedd y rhai a wnelse efe
yn Bethel.
20 w Ac efe a laddodd holl offeiriaid yr uchel- w Dian
feudd y rhai [oeddynt] yno, ar yr allorau, ac a 21, 6
loscodd escyrn dynion arnynt hwy: ac a ddy- Esa 31,6 1Bren 12
chwelodd i Ierusalem. 31, 33 a 13, 40
21 Yna'r brenin * a orchymynnodd i'r holl * 2 Cron 35, 1
bobl, gan ddywedyd, Gwnewch Basc i'r Ar- Ex. 12, 3
glwydd eich Duw, fel y mae yn scrifennedic Deut. 16,
yn llyfr y cyfammod hwn. 2
22 x Canys ni wnaed y fath Basc a hwn, er x 2Cron.
dyddiau y barn-wyr y rhai a farnasant Israel: 35, 18
nac [yn] holl ddyddiau brenhinoedd Israel, na
brenhinoedd Iuda.

y Deut. 16,5 a16,2 23 [y] Ac yn y ddeu-nawfed flwyddyn i frenin
Iosia y cynhaliwyd y Pasc hwn i'r Arglwydd
yn Ierusalem.
z Pen 21,6 Ioan 2,17 Sal. 69, 9 24 [z] Y swynyddion hefyd, a'r dewiniaid, a'r
delwau, a'r eulynnod, a'r holl ffieidd-dra y rhai
a welwyd yng-wlad Iuda, ac yn Ierusalem, a
*Lef. 20, 27 Deut. 18, 12 Pen 22 8 dynnodd Iosia ymmaith: fel y cyflawne efe *eir-
iau y gyfraith, y rhai oeddynt yn scrifennedic
yn y llyfr yr hwn a gafodd Helcia'r offeiriad yn
nhŷ'r Arglwydd.
a Pen 18, 5 a 18, 5 1 Bren. 2 4 25 [a] Ac ni bu oi flaen ef frenin oi fath ef, yr
hwn a drodd at yr Arglwydd ai holl galon, ac
ai holl enaid, ac ai holl egni, yn ol cwbl o gyf-
raith Moses: ac ar ei ol ef ni chyfododd ei fath ef.
b 1 Sam. 3 14 Ier. 15, 1 a 3, 6, 10 Pen 24,4 26 [b] Er hynny ni throdd yr Arglwydd oddi
wrth lid ei ddigofaint mawr ef [drwy]'r hwn y
llidiodd ei ddigllonedd ef yn erbyn Iuda: o her-
2 Cron 33 12, 13 wydd yr holl ddigter [drwy] yr hwn y digiase
Manasses ef.
c Ier. 3,11 Pen 17,18 27 [c] Am hynny y dywedodd yr Arglwydd,
* 1 Bren. 8, 20 Iuda hefyd a fwrriaf ymmaith o'm gŵydd, fel y
bwrriais ymmaith y ddinas hon Ierusalem, yr
hon a ddetholais, a'r tŷ [am] yr hwn y dywed-
* 2 Cron. 35 20 ais, * Fy enw a fydd yno.
28 A'r rhan arall o hanes Iosia, a'r hyn oll a'r
a wnaeth efe: onid ydynt hwy yn scrifennedic
yn llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?
d Preg 9 12 Rhuf 11 33 Sal 36 6 Pen 14 8 29 [d] Yn ei ddyddiau ef y daeth Pharao Necho
brenin yr Aipht i fynu yn erbyn brenin Assyria
hyd afon Euphrates: a'r brenin Iosia a aeth iw
gyfarfod ef, a [Pharao] ai lladdodd ef ym Megi-
do, pan ei gwelodd ef.
30 Ai weision ai cludasant ef mewn cerbyd
yn farw o Megido, ac ai dugasant ef i Ierusa-
lem, ac ai claddasant ef yn ei feddrod ei hun:
a phobl y wlâd a gymmerasant Ioachaz ei fab
ef, ac ai heneiniasant ef, ac ai hurddasant ef yn
frenin yn lle ei dad.
e Pen 8 29 31 [e] Mab tair blwydd ar hugain [oedd] Ioach-
az pan aeth efe yn frenin, a thri mis y teyrnas-
odd efe yn Ierusalem: ac enw ei fam ef [oedd]
Hamutal merch Ieremia o Libna.
f Pen 16 2 32 [f] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-
olwg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a'r a
wnaethe ei dadau ef.
g 2 Cron 35 20 Num 34 8 33 [g] A Pharao Necho ai rhwymodd ef yn
Riblah yng-wlad Hemath, pan oedd efe yn
teyrnasu yn Ierusalem: ac a osododd dreth ar
y wlâd [sef] cant talent o arian, a thalent o aur.
h Pen 24 17 Dan 1 1 Ier. 22,11 34 [h] A Pharao Necho a osododd Eliacim fab
Iosia yn frenin yn lle Iosia ei dâd, ac a drodd ei
henw ef Ioachim: ac efe a ddûg ymmaith Ioach-
az, ac a ddaeth i'r Aipht, ac yno y bu efe farw.
35 Ac Ioachim a roddodd i Pharao yr arian,
a'r aur, ond efe a drethodd y wlâd i roddi arian
wrth orchymyn Pharao: efe a drethodd [ar] bob
un o bobl y wlâd yn ôl ei allu, arian, ac aur iw
rhoddi i Pharao Necho.
36 [i] Mab pum mlwydd ar hugain [oedd] Ioachim i 1 Cron 3 15 Ezec 19 3
pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd
ar ddec y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac enw
ei fam ef [oedd] Zebuda merch Pedaia o Ruma.
37 [j] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg j Ier 26 13 a 36 20
yngolwg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a a 36 21 22, 23
wnelse ei dadau ef. a 52, 13

## PEN. XXIV.

*Nabuchodonosor yn gorchfygu Ioachim, ac am ei anufydd-
dod yn ei ddifetha ef. 6 Ac Ioachim ei fab yntef yn teyrn-
asu yn ei le ef hyd oni chaethgludodd Nabuchodonosor ef
ai bobl i Babilon. 17 A gwneuthur ei ewythr ef Sedecia
yn frenin yn ei le ef.*

YN [k] ei ddyddiau ef y daeth Nabuchod- k Dan 1 1 Ier 25 1
onosor brenin Babilon i fynu: ac Ioachim a 46 2
fu yn wâs iddo ef dair blynedd, yna efe a
ddychwelodd, ac a wrthryfelodd yn ei erbyn ef.
2 [l] A'r Arglwydd a anfonodd yn ei erbyn ef l 1 Bren 11 15
dorfoedd o'r Caldeaid, a thorfoedd o'r Syriaid, Ezec 23 15
a thorfoedd o'r Moabiaid, a thorfoedd o feibion Lef 26 37 Ier 25, 9
Ammon, ac ai hanfonodd hwynt yn erbyn Iuda Pen 23 26
iw dinistrio hi: * yn ol gair yr Arglwydd yr hwn
a lefarase efe drwy law ei weision y prophwydi. m Pen 17
3 [m] Yn unic, drwy orchymyn yr Arglwydd y 18
bu [hyn] yn erbyn Iuda iw bwrw ymmaith oi a 23 26
ŵydd ef: o achos pechodau Manasses, yn ol yr
hyn oll a wnaethe efe.
4 [n] Canys efe hefyd a dynnodd waed gwirion, n Dat 18 24
fel y llawnodd efe Ierusalem o waed gwirion Pen 21 16
am hynny ni fynne'r Arglwydd fadde [hynny.]
5 A'r rhan arall o hanes Ioachim, a'r hyn oll
a'r a wnaeth efe: onid ydynt hwy yn scrifenedic
yn llyfr Cronicl brenhinoedd Iuda?
6 Ac Ioachim * a hunodd gyd ai dadau; ac * 2 Cron 36 5 Ier 22 18
Ioachim ei fab ef a deyrnasodd yn ei le ef. o Ier 37 6
7 [o] Ac ni chwanegodd brenin yr Aipht fyned 7 Esa 31 3
mwyach oi wlâd: canys brenin Babilon a ddug- Ier 2 36
ase yr hyn oll a oedd eiddo brenin yr Aipht o Ies 13 5 Pen 8 67
afon yr Aipht hyd afon Euphrates. * 2 Cron 36 9
8 Mab deunaw mlwydd [oedd] Ioachim pan
aeth efe yn frenin, a thri mis y teyrnasodd efe yn
Ierusalem: ac enw ei fam ef [oedd] Nehusta p Ier 22 21
merch Elnathan o Ierusalem.
9 [p] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng 2 Cron 36 10
olwg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a wnaethe
ei dad ef.
10 * Yn yr amser hwnnw y daeth gweision *Dan 1 1
Nabuchodnosor brenin Babilon i fynu yn erbyn
Ierusalem: a gwarchauwyd ar y ddinas.
11 A Nabuchodnosor brenin Babilon a
ddaeth yn erbyn y ddinas: ai weision ef a war-
chauasant arni hi. q Pen 20
12 [q] Yna Ioachim brenin Iuda aeth allan at 17
frenin Babilon, efe, ai fam, ai weision, ai dyw-

ysogion, ai stafellyddion; a brenin Babilon, ai
daliodd ef yn yr wythfed flwyddyn oi deyrn-
asiad ef.
ᵃ Pen 20 13 Ac * efe a ddug oddi yno holl dryssorau
17 Ier 27 18 tŷ'r Arglwydd, a thryssorau tŷ y brenin; ac a
20 21. a dorrodd yr holl lestri aur y rhai a wnelse Sa-
38 4 lomon brenin Israel yn nheml yr Arglwydd, fel
y llefarase'r Arglwydd.
ᶠ Pen 23 14 ᶠ Ac efe a drosgludodd holl Ierusalem, yr
12 holl dywysogion hefyd, a'r holl gedyrn nerthol
Ier 40 7 [sef] deng-mil o gaethion, a phob saer prenn, a
gôf; ni adawyd ond pobl dlodion y wlad [yno.]
ᵃ Ester 2 15 Efe * hefyd a drosgludodd Ioachim i Babil-
6 on: a mam y brenin, a gwragedd y brenin, ai
stafellyddion ef, a chedyrn y wlâd a ddug efe
mewn caethiwed o Ierusalem i Babilon.
ˢ Sal 76,5 16 ˢ A'r holl wŷr nerthol, [sef] saith mil, ac o
seiri, a gofaint mil, y rhai hyn oll yn rhyfelwŷr
cedyrn: a brenin Babilon ai dûg hwynt yn
gaeth i Babilon.
ᵃ Ier.17,1 17 A * brenin Babilon a osododd Mathania
a 52, 1 ei ewythr ef frawd ei dad yn frenin yn ei lê ef:
ac a drôdd ei henu ef yn Sedecia.
ᵗ Ier 51,1 18 ᵗ Mab un mlwydd ar hugain [oedd] Sede-
Pen13,51 cia pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlyn-
edd ar ddêc y teyrnasodd efe yn Ierusalem: ac
enw ei fam ef [oedd] Hamittal merch Ieremia
o Libna.
ᵘ Ier 24,8 19 ᵘ Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-
a 34, 8 olwg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a wnaethe
11, 17 Ezec. 18 Ioachim.
19 ᵛ 1 Bren, 20 ᵛ Am hynny yn ddiau y bu digofaint yr Ar-
22, 15 glwydd yn erbyn Ierusalem, ac yn erbyn Iuda,
Pen 17,18 Ier. 29, 5 nes iddo ef eu taflu hwynt oi ŵydd, ac y gwrth-
Diar. 14 15 ryfelodd Sedecia yn erbyn brenin Babilon.

## PEN. XXV.

*Nebuchodonosor yn gwarchae ar Ierusalem. 6 Yn dala Sedecia, yn lladd ei blant, ac yn tynnu ei lygaid ef, 9 yn difetha y deml, a'r gaer, a'r tai teccaf. 11 Yn dwyn i Babilon ran o'r bobl, a golud y deml. 25 Lladdiad Gedalia. 27 Ail gorawchafiaeth Ioachim.*

ᵃ Ier 52,4 A C * yn y nawfed flwyddyn oi deyrnasiad
Zec. 3,19 ef, yn y decfed mis, ar y decfed [dydd]
Ezec.4,2 o'r mis y daeth Nabuchodonosor brenin Babi-
lon efe ai holl lû yn erbyn Ierusalem, ac a wers-
syllodd yn ei herbyn hi: a hwy a adailadasant
yn ei herbyn hi wrthglawdd oi hamgylch hi.
2 Felly y daeth y ddinas yng-warche hyd yr
ʷ Ier. 30 unfed flwyddyn ar ddec i'r brenin Sedecia.
2 Zec. 8,19 3 ʷ Ac yn y nawfed [dydd o'r pedwerydd]
Galar. 4 mis y gorchfygodd newyn y ddinas, fel nad oedd
10 Ier. 21, 6 bara i bobl y wlad.
a 37, 21 ˣ Sal 17, 1 4 ˣ Yna y ddinas a dorrwyd, a'r holl ryfelwyr
Ier. 5, 10 [a ffoasant] liw nôs [ar hyd] ffordd y porth,
Deut. 28 25 rhwng y ddau fur y rhai [ydynt] wrth ardd y
Ezec. 12, brenin, a'r Caldeaid [oeddynt] wrth y ddinas o
12 1Sam. 12 25 amgylch: [a'r brenin] a aeth tu a'r rhos.

5 ʸ A llu y Caldeaid a erlidiasant ar ol y bren- ʸ Amos 2 14
in, ac ai daliasant ef yn rhosydd Iericho: ai holl
lu ef a wascarasid oddi wrtho ef.
6 Yna y daliasant hwy y brenin, ac y dugas-
ant ef i fynu at frenin Babilon i Ribla; ac a
draethasant farn yn ei erbyn ef. ᶻ Ezec 12.
7 ᶻ Lladdasant feibion Sedecia hefyd yn ei 13 Sal. 107,
olwg ef: a thynnasant lygaid Sedecia, ac ai 10, 11 Zec 7, 5
rhwymasant ef mewn gefynnau, ac ai dugasant Ier.52,12
ef i Babilon.
8 Ac yn y pummed mis, ar y seithfed [dydd]
o'r mis, honno [oedd] y bedwaredd flwyddyn
ar bymthec i frenin Nebuchodonosor brenin
Babilon, y daeth Nabuzaradan y distain gwas
brenin Babilon i Ierusalem. ᵃ Ier 7,14
9 ᵃ Ac efe a loscodd dŷ'r Arglwydd, a thŷ'r Sal. 79, 1 Ier. 39,8
brenin; a holl dai Ierusalem, a phob tŷ mawr Sal 49,11
a loscodd efe a thân. ᵇ Neh. 1
10 ᵇ A holl lu y Caldeaid y rhai [oeddynt gyd] 3 Zec. 2, 5
a'r distain a ddinistriasant furoedd Ierusalem
oddi amgylch.
11 ᶜ A Nabuzaradan y distain a gaeth-glud- ᶜ Ier. 52, 15
odd weddill y rhan arall o'r bobl y rhai oedd-
ynt yn aros yn y ddinas, a'r enciliaid y rhai a gil-
iasent at frenin Babilon gyd a gweddill y dyrfa.
12 ᵈ Ac o dlodion y wlâd y gadawodd y dist- ᵈ Pen 24
ain [rai] yn winllan-wyr, ac yn ardd-wŷr. 14
13 ᵉ Y colofnau prês hefyd y rhai [oeddynt] ᵉ 1 Bren.
yn nhŷ'r Arglwydd, a'r trestelau, a'r gerwyn 7, 15 a 7, 23
brês yr hon [oedd] yn nhŷ'r Arglwydd a ddryll-
iodd y Caldeaid: a hwy a ddugasant eu prês
hwynt i Babilon.
14 ᶠ Y crochanau hefyd, a'r rhawiau, ar sal- ᶠ 1Bren.7
tringau, y llwyau, a'r holl lestri prês (y rhai'r 45
oeddid yn gwasanaethu ynddynt) a ddugasant
hwy ymaith.
15 ᵍ Y pedill tân hefyd, a'r cawgiau y rhai ᵍ Lef. 10
[oeddynt] aur, a'r rhai [oeddynt] arian, a ddûg 1
y distain ymaith.
16 Y ddau golofn, yr un gerwyn, a'r trestelau
y rhai a wnelse Salomon i dŷ'r Arglwydd: nid
oedd bwys ar brês yr holl lestri hynny,
17 * Tri chufydd ar bymthc [oedd] uchder y * 1 Bren
naill golofn, a chnap prês [oedd] arni hi, ac 7, 15
uchter y cnap [oedd] dri chufydd, pleth hefyd,
a phomgranadau [oedd] ar y cnap o amgylch yn
brês ei gyd: ac felly [r oedd] yr ail golofn,
a'r bleth.
18 ʰ A'r distain a gymmerth Seraiah yr off- ʰ 1Cron.
eiriaid pennaf, a Sephaniah yr ail offeiriad, a'r 1, 13 Esra 7,1
tri y rhai oeddynt yn cadw y drws. 4 Num. 3,
19 ⁱ Ac o'r ddinas efe a gymmerth un stafell- 32 ⁱ Ier. 52,
udd yr hwn oedd swyddog ar y rhyfel-wyr, a 25
phum-wr o'r rhai oeddynt yn gweled wyneb y
brenin, y rhai a gafwyd yn y ddinas, ac scrifen-
nudd tywysog y llu, yr hwn oedd yn byddino

ɔl y tir: a thrugain-wr o bobl y tir y rhai a
wyd yn y ddinas.
) A Nabuzaradan y distain ai cymerth hwynt,
ai dug hwynt at frenin Babilon i Riblah.
1 j A brenin Babilon ai tarawodd hwynt, ac
laddodd hwynt yn Riblah yng-wlad Hem-
: felly y caethgludwyd Iuda oi wlad ei hun.
2 Ac [am] y bobl y rhai a adawsid yng-wlad
la[sef] y rhai a adawse Nabuchodonosor bre-
Babilon: efe a wnaeth yn swyddog arnynt
ynt Gedaliah fab Ahicam fab Saphan.
3 k Pan glybu holl dywysogion y lluoedd,
yntbwy ai gwŷr wneuthur o frenin Babilon
daliah yn swyddog, yna hwy a ddaethant at
daliah i Mispah: sef Ismael mab Nethanïah,
Iohanan mab Cerah, a Seraiah mab Tanhu-
th y Netophathiad, ac Iazoniah mab Maaca-
, hwynt ai gwŷr.
4 l A Gedaliah a dyngodd wrthynt hwy, ac
th eu gwŷr hwynt, ac a ddywedodd wrthynt
y, Nac ofnwch rhac [bod] yn weision i'r Cal-
aid: arhoswch yn y tîr, a gwasanaethwch
nin Babilon, felly y bydd daioni i chwi.
5 m Ac yn y seithfed mîs * y daeth Ismael
mab Nethaniah fab Elisama o'r brenhinawl
had, a deng-wr gyd ag ef, ac a darawsant Geda-
liah fel y bu efe farw :[tarawsant]hefyd yr Iudd-
ewon a'r Caldeaid y rhai oeddynt gyd ag ef ym
Mispah.
26 n Yna'r holl bobl a gyfodasant o fychan
hyd fawr, a thywysogion y lluoedd, ac a aeth-
ant i'r Aipht: canys ofnasant rhac y Caldeaid.
27 o Yn yr ail flwyddyn ar bymthec ar hug-
ain o gaethiwed Ioachim brenin Iuda, yn y deu-
ddecfed mîs, ar y seithfed [dydd] ar hugain o'r
mîs: Efil-merodach brenin Babilon (yn y flwy-
ddyn yr aeth efe yn frenin) a dderchafodd ben
Ioachim brenin Iuda o'r carchar-dŷ.
28 Ac efe a ddywedodd yn dêg wrtho ef: ac
a osododd ei gadair ef goruwch cadeiriau y
brenhinoedd y rhai [oeddynt] gyd ag ef yn
Babilon.
29 p Ac efe a newidiodd ei garchar-wisc ef: ac
efe a fwytâodd fwyd yn oestadol ger ei fron ef
holl ddyddiau ei enioes.
30 q Ai lynniaeth ef[oedd] lynniaeth beunydd-
ol, rhoddid iddo ef oddi wrth y brenin ddogn
dydd yn ei ddydd, holl ddyddiau ei enioes ef.

# Y LLYFR CYNTAF

## O'R

# CRONICL,

## YR HWN A ELWIR YN YR EBRE-AEC DIFRE HAIAMIM, AC YN GAMBER-AEC HANESION YR AMSEROEDD.

### PEN. I.

*...hau Abraham, Isaac, ac Iacob. 43 A thywysogion Edom.*

ADDA,a Seth, Enos,
2 b Cenan, Mahalehel, Iared.
3 c Henoch, Methuselah, Lamech.
4 Noah, Sem, Cam, ac Iapheth.
5 d Meibion Iapheth [oeddynt] Gomer, a Magog,
Madai, ac Iafan, a Thubal, a Mesech, a Thiras.
6 e A meibion Gomer, Aschenas, ac Iphath, a
Thogarma.
7 f A meibion Iafan, Elisa, a Tharsis, Citim, a
Dodanim.
8 g A meibion Cam, Cus, a Mizraim, Phut, a
Chanaan.
9 A meibion Cus, Seba ac Hafilah, a Sabthah,
Raamah, a Sabtheca; a Seba, a Dedan meib-
ion Raama.
10 h A Chus a genhedlodd Nimrod; hwn a
ddechreuodd fod yn gadarn ar y ddaiar.
11 i A Mizraim a genhedlodd Ludim, ac An-
amim, a Lehabim, a Nephthuim.
12 j Pathrusim hefyd a Cassuhim, a'r Caphtho-
riaid y rhai y daeth y Philistiaid allan o honynt.
13 k A Chanaan a genhedlodd Sidon ei gyntaf-
anedic, a Heth.
14 l Iebusi hefyd, ac Amori, a Girgazi.
15 m A Hefi, ac Araci, a Simi.
16 n Ac Arfadi, a Zamari, ac Hemathi.
17 o Meibion Sem; Elam, ac Assur, ac Arph-
acsad, a Lud, ac Aram, ac Uz, a Hul, a Gether,
a Mesech.
18 p Ac Arphacsad a genhedlodd Selah, a
Selah a genhedlodd Eber.
19 q Ac i Eber y ganwyd dau o feibion: henw

y naill [ydoedd]. Peleg, o herwydd mai yn ei ddyddiau ef y dosparthwyd y ddaiar, ac enw ei frawd [oedd] Ioctan.

20 ʳ Ac Ioctan a genhedlodd Almodad, a Saleph, ac Hazarmafeth, ac Ierah.

21 Hadoram hefyd, ac Usal, a Dicla.

22 Ac Ebal, ac Abimael, a Seba.

23 ˢ Ophir hefyd, a Hafila, ac Iobab: y rhai hyn oll [oeddynt] feibion Ioctan.

24 ᵗ Sem, Arphacsad, Selah.

25 ᵘ Eber, Peleg, Rehu.

26 Serug, Nahor, Therah.

27 ᵛ Abram, hwnnw [yw] Abraham.

28 ʷ Meibion Abraham; Isaac, ac Ismael.

29 ˣ Dymma eu cenhedlaethau hwynt; cyntaf-anedic Ismael [oedd] Nabaioth, yna Cedar, ac Adbeel, a Mibsam.

30 ʸ Misma, a Dumah, Massa, Hadad, a Thema.

31 Ietur, Naphis, a Chedma; Dymma hwynt meibion Ismael.

32 ᶻ A meibion Cetura gordderchwraig Abraham; hi a ymddug Zimram, ac Iocsan, a Medan, a Midian, ac Isboc, a Suah; a meibion Iocsan, Seba a Dedan.

33 ᵃ A meibion Midian, Epha, ac Ephar, a Henoch, ac Abdia, ac Eldaa; y rhai hyn oll [oeddynt] feibion Cetura.

34 ᵇ Ac Abraham a genhedlodd Isaac; meibion Isaac, Esau ac Israel.

35 Meibion Esau; Eliphaz, Rehuel, ac Iehus, ac Iaelam, a Chorah.

36 ᶜ Meibion Eliphaz, Toeman ac Omar, Zephi, a Gatham, Cenas, a Thimna, ac Amalec.

37 ᵈ Meibion Rehuel; Nahath, Zerah, Zamma, a Miza.

38 ᵉ A meibion Zeir; Lotan, a Sobal, a Zibeon, ac Ana, a Dison, ac Eser, a Disan.

39 A meibion Lotan; Hroi, ac Homam; a chwaer Lotan [oedd] Thimna.

40 Meibion Sobal: Alian, a Manahath, ac Ebal, Sephi, ac Onam; a meibion Zibeon, Aia, ac Ana.

41 ᶠ Meibion Ana, Dison; a meibion Dison, Hamran, ac Esban, ac Iethran, a Cheran.

42 ᵍ Meibion Ezer, Bilhan, a Zaefan, Iacan; meibion Dison, Uz ac Aran.

43 ʰ Dyma hefyd y brenhinoedd y rhai a deyrnasasant yn-nhir Edom, o flaen teyrnasu o frenin ar feibion Israel; Bela mab Beor, a henw ei ddinas ef [oedd] Dinhaba.

44 ⁱ Pan fu farw Bela, yna y teyrnasodd yn ei le ef Iobab mab Zerah o Bozra.

45 ʲ A phan fu farw Iobab: Husam, o wlâd y Themnaiaid a deyrnasodd yn ei le ef.

46 ᵏ Yna y bu farw Husam, ac yn ei lê ef y teyrnasodd Hadad mab Bedad, yr hwn a darawodd Midian ym maes Moab, ac enw ei ddinas ef [ydoedd] Afith.

47 Yna y bu farw Hadad: ac y teyrnasodd yn ei lê ef, Samla o Mascereca.

48 ˡ A phan fu farw Samla: Saul o Rehoboth [wrth] yr afon a deyrnasodd yn ei lê ef.

49 A bu farw Saul; a theyrnasodd yn ei le ef Baalhanau mab Achbor.

50 Yna y bu farw Baalhanan, a theyrnasodd yn ei le ef Hadad, ac enw ei ddinas ef [oedd] Phat; ac enw ei wraig ef Mehetabel, merch Matred, merch Mesahab.

51 A phan fu farw Hadad, dugiaid oeddynt yn Edom, duwc Thimna, duwc Aliab, duwc Ietheth.

52 Duwc Aholibama, duwc Ela, duwc Pinon.

53 Duwc Cenaz, duwc Theman, duwc Mibzar.

54 Duwc Magdiel, duwc Iram; dymma ddugiaid Edom."

## PEN. II.

*Achau Iuda hyd at Isai tad Dafydd.*

"DYMMA feibion Israel; Ruben, Simeon, Lefi, ac Iuda, Issachar, a Zabulon.

2 Dan, Ioseph, a Beniamin, Napthali, Gad, ac Aser.

3 Meibion Iuda; Er, ac Onan, a Sela, y tri [hyn] a anwyd iddo ef o ferch Sua y Cannaanites; ond Er cyntaf-anedic Iuda ydoedd ddrygionus yng-olwg yr Arglwydd, ac efe ai lladdodd ef.

4 ᵐ A Thamar ei waudd ef a ymddug iddo Pharez, a Zara; holl feibion Iuda [oeddynt] bump.

5 Meibion Pharez; Hesron, a Hamul.

6 A meibion Zara; Zimri, ac Ethan, a Heman, a Chalcol, a Dara; hwynt oll [oeddynt] bump.

7 ⁿ A meibion Charmi; Achar yr hwn a flinodd Israel, ac a wnaeth gamwedd o blegit y diofryd-beth.

8 ᵒ A meibion Ethan; Azaria.

9 A meibion Hezrom y rhai a anwyd iddo ef; Ierahmeel, a Ram, a † Chelubai.

10 ᵖ A Ram a genhedlodd Aminadab, ac Aminadab a genhedlodd Naasson pennaeth meibion Iuda.

11 ᑫ A Naasson a genhedlodd Salma, a Salma a genhedlodd Boaz.

12 ʳ A Boaz a genhedlodd Obed, ac Obed a genhedlodd Isai.

13 Ac Isai a genhedlodd ei gyntaf-anedic Eliab, ac Aminadab yn ail, a Simaa yn drydydd.

14 Nathanaeel yn bedwerydd, Radai yn bumed.

15 ˢ Ozem yn chwched, Dafydd yn seithfed.

16 ᵗ Ai chwiorydd hwynt [oeddynt] Serfia, ac Abigail: a meibion Serfia [oeddynt] dri: Abisai, Ioab, ac Asahel.

17 Ac Abigail a ymddug Amaza, a thâd Amaza [oedd] Iether yr Ismaeliad.

18 A Chaleb mab Hezron a ennillodd blant o Azubah [ei] wraig, ac o Ierioth: ac dymma ei meibion hi: Iaser, a Sobab, ac Ardon.

19 A phan fu farw Azuba, Caleb a gymmerth iddo Ephrath, a hi a ymddug iddo Hur.

20 v A Hur a genhedlodd Uri, ac Uri a genhedlodd Bezaleel.

21 w Ac wedi hynny y daeth Hezron at ferch Machir tâd Gilead, ac efe ai priododd hi, pan [ydoedd] efe fab trugain mlwydd: a hi a ymddug iddo Segub.

22 A Segub a genhedlodd Iair: ac yr oedd iddo ef dair ar hugain o ddinasoedd yng-wlâd Gilead.

23 x Ac efe a ddug oddi ar Gessur, ac Aram drefydd Iair, Chenath ai phen-trefydd [sef] trugain o ddinasoedd: dymma holl feibion Machir tâd Gilead.

24 y Ac yn ol marw Hezron o fewn Caleb Ephrata: Abia gwraig Hezron a ymddug iddo Ashur, tâd Thecoa.

25 A meibion Ierahmeel cyntaf-anedig Hezron oeddynt Ram yr hynaf: yno Buna, ac Oren, ac Ozen [ac] Ahia.

26 A gwraig arall ydoedd i Ierahmeel, ai henw Atara: hon [oedd] fam Onam.

27 A meibion Ram cyntaf-anedic Ierahmeel oeddynt Maaz, ac Iamin, ac Eccar.

28 A meibion Onam oeddynt Sammai, ac Iada: a meibion Sammai, Nadab, ac Abisur.

29 Ac enw gwraig Abisur [oedd] Abiahil: a hi a ymddug iddo Ahban, a Molid.

30 A meibion Nadab, Seled, ac Appaim: a bu farw Seled heb feibion.

31 A meibion Appaim, Iesi: a meibion Iesi, Sesan: a meibion Sesan, Ahlai.

32 A meibion Iada, brawd Samai, Iether, ac Ionathan: a bu farw Iether heb feibion.

33 A meibion Ionathan, Peleth, a Zaza: y rhai hyn [oeddynt] feibion Ierahmeel.

34 Ac nid oedd i Sesan feibion, onid merched: ac i Sesan [yr ydoedd] gwâs o Aiphtiad, ai enw ef Iarha.

35 z A Sesan a roddodd ei ferch yn wraig i Iarha ei wâs; a hi a ymddug iddo Athai.

36 a Ac Athai a genhedlodd Nathan, a Nathan a genhedlodd Zabad.

37 A Zabad a genhedlodd Aphlal, ac Aphlal a genhedlodd Obed.

38 Ac Obed a genhedlodd Iehu, ac Iehu, a genhedlodd Azaria.

39 Ac Azaria a genhedlodd Helez, a Helez a genhedlodd Elasa.

40 Ac Elasa a genhedlodd Sisamai, a Sisamai a genhedlodd Salum.

41 A Salum a genhedlodd Iecamia, ac Iecamia a genhedlodd Elisamah.

v Ex. 17, 10, 14 a 31, 2. w Gen. 50, 23. Num. 29, 29. x Nu. 32, 41. y 2 Sam. 14, 2. z Gen. 21, 21, Deut. 7, 3, 1 Cor. 7, 39. Barn. 14. a Pen. 13, 41.

42 b Hefyd meibion Caleb brawd Ierahmeel [oeddynt] Mesa ei * gyntaf-anedic ef, hwn [oedd] dâd Ziph; a meibion Maresa tâd Hebron.

43 A meibion Hebron; Corah, a Thapuah, a Recem, a Sama.

44 A Sama a genhedlodd Raham, tâd Iercoam: a Recem a genhedlodd Sammai

45 c A mab Sama [ydoedd] Maon, a Maon [oedd] dâd Bethzur.

46 d Ac Epha gordderch-wraig Caleb a ymddug Haran, a Mosa, a Gazez; a Haran, a genhedlodd Gazez.

47 Meibion Iahdai; Regem, ac Iotham a Gesan, a Phelet, ac Epha, a Saaph.

48 e Gordderch-wraig Caleb [sef] Maacha, a ymddug Seber, a Thirhana.

49 Hefyd hi a ymddug Saaph, tâd Madmanna, [a] Sefa tâd Machbena, a thâd Gibea; ac Achsa merch Caleb.

50 f Y rhai hyn oeddynt feibion Caleb fab Hur cyntaf-anedic Ephrata; Sobal tâd Ciriath-Iearim.

51 g Salma tâd Bethlehem [a] Hareph tâd Beth-Gader.

52 A meibion oeddynt i Sobal, tâd [priodorion] Ciriath Iearim; golygwr hanner Hammenoth.

53 A theuluoedd Ciriath Iearim [oeddynt;] y Iethriaid, a'r Puthiaid, a'r Sumathaid, a'r Misrahiaid; o'r rhai hyn y daeth allan y Zarathiaid a'r Esthauliaid.

54 h Meibion Salma; Bethlehem, a Netophathi, parch tŷ Ioab; a haner y Manahethiaid a'r Zariaid.

55 A thylwyth yr scrifenyddion y rhai a breswylient Iabes, y Thirathiaid, y * Simeathiaid, y Suchathiaid; dymma y Ceniaid, y rhai a ddaethant o Hemath, tâd tŷ-lwyth Rechab."

## PEN. III.

*Achau Dafydd, ai hiliogaeth hyd at feibion Iosia.*

Y Rhai i hyn hefyd oeddynt feibion Dafydd, y rhai a anwyd iddo ef yn Hebron; y cyntaf-anedic Amnon o Ahinoam yr Iesraelites; yr ail, * Daniel o Abigail y Carmelites.

2 j Y trydydd Absalom mab Maacha, merch Thalmai brenin Gessur; y pedwerydd Adonia mab Haggith.

3 k Y pummed Sephatia o Abital; y chweched, Iethream o Egla ei wraig.

4 l Chwech a anwyd iddo ef yn Hebron, ac yno y teyrnasodd efe saith mlynedd, a chwemis; a thair blynedd, ar ddec ar hugain y teyrnasodd efe yn Ierusalem.

5 m A'r rhai hyn a anwyd iddo ef yn Ierusalem; Sima, a Sobab, a Nathan, a Salomon, pedwar o Bathsua merch Ammiel.

6 Ibhar hefyd, a Elisama, ac Eliphelet.

b Ios. 15, 55. 1 Sam. 23, 19. Ad 45, 50. * Gwel breintiau y cyntaf-anedig yn Gen. 49, 3. Ex. 4, 22 a 22, 29. Num. 3, 14. Deut. 21, 17. 2 Cron. 21, 3. Sal. 89, 27. Rhuf. 8, 29. Heb. 12, 23. c Ios. 15, 58. d Gen. 22, 24 a 25, 1, 5. 1 Bren. 11, 3. 2 Sam. 5, 13. Pen. 1, 32. e 1 Bren. 11, 3. Ios. 15, 35, 37. f Ios. 15, 9. g Pen. 4, 4. h Pen. 4, 8. 2 Sam. 23, 28. Ios. 16, 5. * Barn. 1, 16. Nu. 24, 21. Ier. 35, 2. i Pen. 14, 4. * 2 Sam. 3, 3. j 2 Sam. 3, 3 a 15, 1 a 18, 15. 1 Bren. 1, 5. k 2 Sam. 3, 5. l 2 Sam. 5, 5. m 2 Sam. 5, 14.

22 Meibion Iehieli, Zetham, ac Ioel ei frawd
[oeddynt] ar dryssorau tŷ'r Arglwydd.
j Pen. 23, 6, 12. 23 [j] O'r Amramiaid, o'r Izahariaid, o'r Hebron-
iaid, o'r Ozieliaid.
k Pen. 23, 16 24 [k] A Sebuel mab Gersom, mab Moses [oedd]
olygwr ar y tryssorau.
25 Ac ei frodyr ef [sef] o Eleazar [yr oedd]
Rehabiahu ei fab ef, ac Iesaiahu ei fab yntef, ac
Ioram ei fab yntef, a Zichri ei fab yntef, a Selo-
mith ei fab yntef.
l Pen. 18, 11 26 [l] Y Selomith hwnnw ai frodyr [oeddynt] ar
1 Bren. 7, 51 yr holl dryssorau cyssegredic, y rhai a barodd
Dafydd frenin, a'r tadau pennaf, a thywysog-
ion y miloedd, a'r cantoedd, a thywysogion y
llu eu cyssegru.
m Num. 31, 50 27 [m] O'r rhyfeloedd, ac o'r yspail y cyssegr-
2 Cron. asant [bethau] i gryfhau tŷ'r Arglwydd.
30, 25 28 [n] A'r hyn oll a gyssegrodd Samuel y gwe-
Barn. 8, 21, 24, 26 ledudd, a Saul mab Cis, ac Abner mab Ner, ac
n 1 Sam. 9, 9 Ioab mab Serfia: pob peth a gyssegrasid [oedd]
2 Bren. 17, 3 tann law Selomith ai frodyr.
1 Sam. 11, 11 a 15, 5a 29 [o] O'r Izariaid, Cananiahu ai feibion [oedd-
17, 58 ynt] yn Israel yn swyddogion, ac yn farn-wŷr
a 14, 10 ar y gwaith oddi allan.
o 2 Cron. 19, 11 30 [p] O'r Hebroniaid Hasabiahu ai frodyr mei-
Deut 16, 18 bion nerthol mil a saith gant [oedd] mewn
2 Cron 17, 8 a 19, 11 swydd [yn] Israel o'r tu hwynt i'r Iorddonen
a 34, 13 tua'r gorllewyn, yn holl waith yr Arglwydd, ac
Sal. 45, 16 Neh. 11, 16 yng-wasanaeth y brenin.
p 2 Cron. 19, 8 31 [q] O'r Hebroniaid Iedia [oedd] benn o'r
Hebroniaid yn ol ei genedlaethau ef, drwy [ei]
q 2 Sam. 5, 4 deuluoedd, yn y ddeugeinfed flwyddyn o deyr-
Pen. 28, 29 nasiad Dafydd y ceisiwyd hwynt, ac fe a gaf-
Ios. 21, 39 wyd yn eu mysc hwy [wŷr] cryfion nerthol yn
Aser Gilead.
r Num. 32, 33 32 [r] Ai frodyr ef yn feibion nerthol [oeddynt]
ddwy fil a saith gant o bennau cenedl: a Da-
fydd y brenin ai gosododd hwynt ar y Ruben-
iaid, a'r Gadiaid, a hanner llwyth Manasses, ym
mhob gorchwyl Duw, a gorchwyl y brenin.

## PEN. XXVII.

*Tywysogion, a swyddogion y brenin.*

s 2 Cron. 17, 19 PEDAIR [s] mil ar hugain [oedd] bob dos-
Sal. 72, 11 parthiad o feibion Israel dann eu rhif, yn
1 Sam. 2, 30 bennau cenedl, ac yn dywysogion miloedd, a
chantoedd, ai swyddogion yn gwasanaethu'r
brenin ym mhob achos [o'r] dosparthiadau, yn
dyfod i mewn, ac yn myned allan, mis yn ei fis,
drwy holl fisoedd y flwyddyn.
t Pen. 11, 11 2 [t] Ar y dosparthiad cyntaf yn y mis cyntaf [yr
2 Sam. 23, 8 oedd] Iasobeam mab Zabdiel: ac yn ei ddos-
parthiad ef [yr oedd] pedair mil ar hugain.
u Gen. 46, 12 3 [u] O feibion Pharez [yr oedd] y pennaf, a holl
dywysogion y lluoedd tros y mis cyntaf.
4 Ac ar ddosparthiad yr ail mis [yr oedd] Do-
dai'r Ahohiad ai ddosparthiad ef, a Micloth yn
gapten, ac yn ei ddosparthiad ef bedair mil ar
hugain.
5 [v] Tywysog y trydydd llu tros y trydydd mis v 2 Sam. 8, 18
[oedd] Benaiahu mab Iehoiada yr offeiriad pen-
naf: ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hug-
ain.
6 Y Benaiahu hwn [oedd] gadarn [ym mhlith]
* y dêc ar hugain, ac oddi ar y dêc ar hugain: * 2 Sam.
ac yn ei ddosparthiad ef [yr oedd] Amizabad ei 23, 20
fab ef. a 8, 18
7 [w] Y pedwerydd dros y pedwerydd mis [oedd] w 2 Sam. 2, 18 a 11, 26
Asahel brawd Ioab, a Zabadia ei fab yn ei ol ef:
ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.
8 [x] Y pummed dros y pummed mis [oedd] dy- x 2 Sam.
wysog Samhut yr Izrahiad, ac yn ei ddosparth- 23, 25 Pen. 11,
iad ef pedair mil ar hugain. 27
9 [y] Y chweched dros y chweched mis [oedd] y 2 Sam.
Ira mab Iccas y Thecoad: ac yn ei ddosparth- 23, 26
iad ef, pedair mil ar hugain.
10 Y seithfed dros y seithfed mis [oedd] Helez
y Peloniad o feibion Ephraim: ac yn ei ddos-
parthiad ef, pedair mil ar hugain.
11 [z] Yr wythfed dros yr wythfed mis [oedd] z Pen 20, 4
Sibbecai'r Husathiad, o'r Zarhiaid: ac yn ei Gen. 48,
ddosparthiad ef, pedair mil ar hugain. 18
12 [a] Y nawfed dros y nawfed mis [oedd] Abi- a 2 Sam.
ezer yr Anathothiad o'r Beniaminiaid: ac yn ei 23, 27 Pen 11,
ddosparthiad ef pedair mil ar hugain. 28
13 [b] Y decfed dros y decfed mis [oedd] Ma- b Pen. 11
harai y Netophathiad o'r Zarahiaid: ac yn ei 30 Num. 26
ddosparthiad ef pedair mil ar hugain. 20
14 [c] Yr unfed ar ddec dros yr unfed mis ar Ios. 7, 17 c Sam.
ddec [oedd] Banaia y Parathoniad o feibion 23, 30
Ephraim: ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil
ar hugain.
15 [d] Y deuddecfed dros y deuddecfed mis d Barn. 3,
[oedd] Heldai y Netophathiad o Othniel, ac yn 9
ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.
16 Ac ar lwythau Israel, ar y Rubeniaid, Eliez-
er mab Zichri [oedd] dywysog: ar y Simeoniaid,
Sephariah mab Maacha.
17 [e] Ar y Lefiaid Hasabia mab Cemuel: ar e Pen. 26,
yr Haaroniaid Zadoc. 30 2 Sam. 8,
18 Ar Iuda Elihu o frodyr Dafydd: ar Isa- 17 a 20, 25 1 Bren. 1,
char Omri mab Michael. 8
19 [f] Ar Zabulon Iesmaiahu mab Obadiahu: f Pen 12, 4
ar Nephthali Ierimoth mab Azriel.
20 Ar feibion Ephraim Hosea mab Azazia:
ar hanner llwyth Manasses, Ioel mab Ped-
aiahu. g Ios. 17,
21 [g] Ar yr hanner [arall] i lwyth Manasses yn 1, 5 Num. 32,
Gilead, Ido mab Zachariahu: ar Beniamin 1 Gen. 31,
Iaasiel mab Abner. 21 a 37, 25 1 Sam. 14,
22 Ar Dan Azrael mab Iehoram: dymma 50 h Num. 1,
dywysogiad llwythau Israel. 8
23 [h] Ond ni chymmerth Dafydd eu rhifedi Gen. 22, 17

hwynt o fab ugain mlwydd ac isod, canys dyw-
edodd yr Arglwydd am amlhau Israel megis
sêr y nefoedd.
* Pen 2, 16 a 21,16 2Sam. 24 15 24 * Ioab mab Serfia a ddechreuodd gyfrif
ond ni orphennodd efe, am fod o achos hyn
lidiawgrwydd yn erbyn Israel, ac nid aeth y cyfrif
hwn ym mysc cyfrifon Cronicl y brenin Dafydd.
i Pen. 26 20 25 [i] Ac ar dryssorau y brenin [oedd] Azma-
seth mab Adiel, ac ar y tryssorau yn y maes,
yn y dinasoedd, yn y pentrefi hefyd, ac yn y
tyrau [yr oedd] Iehonathan mab Uzzia.
26 Ac ar weith-wyr y maes [y rhai oeddynt]
yn llafurio'r ddaiar [yr oedd] Ezri mab Elub.
27 Ac ar y gwinllanoedd [yr oedd] Simei y Ra-
mathiad: ac ar yr hyn [oedd] yn y gwinllanoedd,
ac yn y selerau gwin [yr oedd] Sabei y Siphmiad.
j 1 Bren. 10, 27 28 [j] Ac ar yr oliwŷdd, ar Sicomor-wŷdd y
rhai [oeddynt] yn y dyffrynnoedd yr [oedd]
Baal hanan y Gederiad: ac ar y selerau olew
[yr oedd] Ioas.
k Can. 2. 1 Esa. 33,9 a 35, 2 29 [k] Ac ar yr ychen pascedic yn Saron [yr
oedd] Setrai y Saroniad: ac ar yr ychen yn y
dyffrynnoedd [yr oedd] Saphar mab Adlai.
l 1 Bren. 10, 2 a 2, 46 30 [l] Ac ar y camelod [yr oedd] Obil yr Is-
maeliad, ac ar yr assynnod Iediah y Merон-
othiad.
m Ezra. 4 22 31 [m] Ac ar y defaid [yr oedd] Iaziz yr Hager-
iad, y rhai hyn oll [oeddynt] dywysogion y golud
yr hwn [oedd] eiddo y brenin Dafydd.
n 2 Sam. 21, 21 32 [n] Ac Iehonathan ewythr Dafydd frawd ei
dad oedd gynghorwr deallgar, ac scrifenudd:
Iehiel hefyd mab Hachmoni [oedd] gyd a
meibion y brenin.
33 Ac Ahitophel [oedd] gynghorwr y brenin,
a Hussai'r Arciad [oedd] gyfell y brenin.
o 1 Bren 1,7 Pen. 11,6 34 [o] Ac ar ol Ahitophel [yr oedd] Iehoiada
mab Benaiahu, ac Abiathar: a thywysog llu y
brenin [oedd] Ioab."

## PEN. XXVIII.

*Dafydd yn cynghori Salomon i adailadu'r deml: ac i ofni Duw.*

p Pen 17,1 a 23, 1 a 27, 25 YNA [p] y casclodd Dafydd holl dywysogion
Israel, tywysogion y llwythau, a thywys-
ogion y dosparthiadau y rhai oeddynt yn gwa-
sanaethu'r brenin: tywysogion y miloedd hefyd,
a thywysogion y cantoedd, a thywysogion holl
olud, a meddiant y brenin, ai feibion, gyd a'r
stafellyddion, a'r cedyrn, a phob un grymmusol
q Barn. 3 20 o nerth i Ierusalem.
1 Bren. 1 47 2 [q] A chyfododd Dafydd y brenin ar ei draed,
Gen. 47 31 ac a ddywedodd, Gwrandewch arnaf fi fy
Sal 22,8 a 132, 5 mrodyr, a'm pobl: [myfi a feddyliais] yn fyng-
* Sal. 99, 5 halon adailadu tŷ gorphwysfa i Arch cyfammod
2 Bren 19 15 yr Arglwydd,* a lleithic i draed ein Duw ni, ac
mi a baratoais tu ag at adailadu.
2 Sam. 6,2 r Pen 22,8 3 [r] Yna Duw a ddywedodd wrthif, Nid
adeiladi di dŷ i'm enw mau fi, canys rhyfelwr
ydwyt, a gwaed a dywelltaist ti.
4 [s] Ac Arglwydd Dduw Israel a'm etholodd s 1 Sam. 16. 7, 13
i o holl dŷ fy nhad i fod yn frenin ar Israel yn Dan. 2, 44
dragywydd: canys o Iuda y dewise efe lywiaw- Luc 1,32 33
dwr, ac o dŷ Iuda [y mae] tŷ fy nhâd i, ac o feib- Gen 49,8
ion fy nhad, efe a fynne i mi deyrnasu ar holl Sal 78,68
Israel.
5 [t] Ac o'm holl feibion inne (canys llawer o t Pen. 3,1
feibion a roddes yr Arglwydd i mi) efe hefyd a a 23, 1
ddewisodd Salomon fy nhad i eistedd ar orsedd-
fa brenhiniaeth yr Arglwydd yn Israel.
6 [u] Dywedodd hefyd wrthif: Salomon dy fab u 2 Sam. 7 13
di, efe a adailada fy nhŷ a'm cynteddau, 1 Bren. 5
canys dewisais ef yn fab i mi, a minne a fyddaf 36
iddo ef yn dâd.
7 [v] Ai frenhiniaeth ef a gadarnhaf yn dragyw- v 1 Bren 2, 8
ydd, os efe a ymegnia ar wneuthur fyng-orchym-
ynnion, a'm barnedigaethau megis y dydd hwn.
8 Ac yn awr yng-wydd holl Israel, cynnulleid-
fa'r Arglwydd, ac lle y clywo ein Duw ni, ced-
wch, a cheisiwch holl orchymynnion yr Argl
wydd eich Duw: fel y meddiannoch y wlad dda
[hon] ac y rhoddoch etifeddiaeth i'ch meibion ar
eich ôl yn dragywydd.
9 A thithe Salomon fy mab cydnebydd Dduw
dy dad, a gwasanaetha ef a chalon berffaith, ac
ag enaid ewyllyscar: * canys yr Arglwydd sydd * Ier. 9,24
yn chwilio yr holl galonnau, ac yn deall pob Ioan 17,3
dychymyg meddyliau: o cheisi ef ti ai cei ef, ond Deut. 4 35
os gwrthodi ef, efe a'th fwrw di ymaith yn dragy- Hos. 4,1
wydd. 2 Bren. 20, 3
10 [w] Gwel yn awr mai'r Arglwydd a'th ddewis- 1 Sam. 16. 7
odd di i adailadu tŷ y cysegr: ymegnia, a gwna [ef.] Sal. 7, 9 a 139, 2
11 [x] Yna y rhoddes Dafydd i Salomon ei fab Ier. 17,10 Heb 4,13
bortreiad y porth ai dai, ai selerau, ai gellau, ai w Pen. 28 19
stafelloedd oddi fewn, a thŷ y drugareddfa. x Ex. 25 40
12 [y] A phortreiad yr hyn oll a oedd mewn cof 1 Bren 6,
ganddo ef am gynteddau tŷ'r Arglwydd, ac am 9, 19 2 Bren 19
yr holl stafelloedd o amgylch: am dryssorau tŷ 15 y Pen 9,
Dduw, ac am dryssorau y pethau cyssegredic. 26 a 26,21
13 Ac am ddosparthiadau yr offeiriaid, a'r
Lefiaid, ac am holl waith gweinidogaeth tŷ'r Ar-
glwydd, ac am holl lestri gwasanaeth tŷ'r Argl-
wydd.
14 [z] Am yr aur, am bwys yr aur tu ag at holl z Pen. 7, 48
lestri pob gwasanaeth, [ac] am holl lestri arian Ex. 36,50
mewn pwys; tu ag at holl lestri pob math was-
anaeth.
15 A phwys y * canhwyll-brennau aur, ai lusern- * Ex. 25, 31
au aur hwynt, wrth bwys pob canhwyll-bren ai 1 Bren. 7 49
lusernau: ac am y canhwyll-brennau arian wrth 2 Cron.
bwys, y canhwyll-bren ai luserau, yn ol gwas- 47, 20
anaeth pob canhwyll-bren.
16 [a] Aur hefyd [tuan] bwys tu ag at fyrddau a 2 Cron.
[y bara] gosod i bob bwrdd: ac arian i'r byr- 4, 8, 19

ddan arian.
1Sam. 3, 14 17 ᵇ Ac aur pur i'r cigweiniau, ac i'r phiolan,
24,6 ac i'r dysclau, ac i'r gorflychau aur wrth bwys
pob gorflwch: ac i'r gorflychau arian wrth
bwys bob gorflwch:
Sal 18, 18 ᶜ Ac i allor yr arogl-darth aur pur wrth
ec. 1, bwys, ac i bortreiad cerbyd y Cerubiaid aur yn
Bren. 6 ymledu, ac yn gorchuddio Arch cyfammod yr
Arglwydd.
Heb5,5 19 ᵈ Hyn oll mewn scrifen o law'r Arglwydd
a26,30 attafi, a wnaeth i mi ddeall holl waith y portreiad.
1, 5 20 ᵉ A dywedodd Dafydd wrth Salomon ei
ob13,5 fab, ymgryfha, ac ymegnia, a gweithia, nac ofna,
ac na arswyda: canys yr Arglwydd Dduw fy
Nuw i[fydd]gyd a thi, nid ymedu efe a thi, ac
nith wrthit nes gorphen holl waith gwasanaeth
tŷ'r Arglwydd.
21 Wele hefyd ddosparthiadau'r offeiriaid a'r
Lefiaid i holl wasanaeth tŷ Dduw: a chyd â
thi y[maent] yn yr holl waith, o bob rhai ethryl-
gar, mewn cywreinrwydd i bob gwasanaeth, y
tywysogion hefyd, a'r bobl oll [fyddant] wrth
dy holl orchymynnion.

## PEN. XXIX.

*Dafydd ai dywysogion yn offrymmu tu ag at waith y deml. 10 Dafydd yn moliannu Duw, ac yn cynghori y bobl. 22 Coroniad Salomon a diweddiad Dafydd.*

Y NA ᶠ y dywedodd Dafydd y brenin wrth
yr holl dyrfa, Duw a ddewisodd iddo fy
un mab Salomon yn ieuangc, ac yn dyner: a'r
gwaith [sydd] fawr, canys nid tŷ [yw efe] i ddyn,
onid i'r Arglwydd Dduw.
2 ᵍ Ac â'm holl gryfdwr y paratoais i dŷ fy
Nuw aur i'r [gwaith] aur, ac arian i'r arian, a
phrês i'r prês, a haiarn i'r haiarn, a choed i'r
[gwaith] coed: meini Onix, a [meini] gosod, mei-
ni Carbunculus, ac o amryw liw a phob maen
gwerthfawr, a meini Marmor yn aml.
3 ʰ Ac etto am [fod] fy ewyllys tua thŷ fy Nuw,
y mae gennyf o'm heiddo fy hun aur, ac arian
yr hwn a roddaf tu ag at dŷ fy Nuw: heb law
yr hyn oll a baratoais tua thŷ y cyssegr.
4 Tair ⁱ † mil o dalentau aur, o aur Ophir: a
saith mil o dalentau arian puredig, i oreuro par-
wydydd y tai.
5 ʲ Yr aur i'r [gwaith] aur, a'r arian i'r arian,
a thuag at yr holl waith drwy law y rhai celfydd:
pwy hefyd a ymrydd yn ewyllyscar i ymgys-
segru heddyw i'r Arglwydd:
6 ᵏ Yna tywysogion y teuluoedd, a thywys-
ogion llwythau Israel, a thywysogion y miloedd,
a [thywysogion] y cantoedd, a thywysogion
gwaith y brenin a offrymmasant yn ewyllyscar.
7 A hwy a roddasant tu ag at wasanaeth tŷ
Dduw † bum mil o dalentau aur, a deng-mil o
sylltau, a deng-mil o dalentau arian, a deunaw
mil o dalentau prês, a chant mil o dalentau
haiarn.
8 A chyd a'r hwn y caed meini hwy ai rhodd-
asant i dryssor tŷ'r Arglwydd drwy law Iehiel
y Gersoniad. 1Sam. 5, 9
9 ˡ A'r bobl a lawenhasant pan offrymasant oi 1Bren.8, 61
gwirfodd: canys mewn calon berffaith ewyllys-
car yr offrymasant i'r Arglwydd: a Dafydd y
brenin hefyd a lawenychodd a llawenydd mawr:
10 Yna y bendithiodd Dafydd yr Arglwydd
yng-wydd yr holl dyrfa, a dywedodd Dafydd,
Bendigedic [wyt] ti Arglwydd Dduw Israel ein
tad ni o dragywyddoldeb, hyd dragywyddoldeb.
11 ᵐ I ti arglwydd [y mae] mawredd, a gallu, mMat. 6, 13
gogoniant hefyd, goruwchafiaeth, a harddwch: 1Tim. 1, 17
canys y cwbl yn y nefoedd, ac yn y ddaiar Dat.5,13
[sydd] eiddo ti, y deyrnas [sydd] eiddo ti Ar-
glwydd, yr hwn hefyd a ymdderchefaist yn benn
ar bawb. nIago 1. 17
12 ⁿ Cyfoeth hefyd ac anrhydedd [a ddeuant] Sal 75,6, 7
oddi wrthit ti, a thi sydd yn arglwyddiaethu ar Diar. 10, 22
bawb, ac yn dy law di y mae nerth, a chadernid, Dan 6, 26
ie yn dy law di hefyd [y mae] mawrhau, a
nerthu pob dim.
13 Ac yn awr ein Duw ni, yr ydym ni yn dy
foliannu, ac yn clodfori dy enw gogoneddus. oSal. 115, 1
14 ᵒ Eithr pwy ydwyfi? [a phwy yw] fy mhobl 2Cor 3 5
i, fel y caem ni rym i offrymmu yn ewyllyscar Phil 2,13
fel hyn? ond oddi wrthit ti [y mae] pob peth, Rhuf. 11 36
ac o'th law di y rhoesom i ti?
15 ᵖ O herwydd dieithriaid [ydym] ni ger dy pSal. 39, 12
fron di, ac alltudion fel ein holl dadau: fel cys- Heb. 11, 13
cod [yw] ein dyddiau ni ar y ddaiar, a [hwnnw] 1Pedr 2, 11
heb aros. Sal. 90, 9
16 Oh Arglwydd ein Duw ni, yr holl amlder Iob 14, 2
hyn y rhai a baratoasom ni i adailadu i ti dŷ,
i'th enw sanctaidd, o'th law di [y mae] hyn, ac
eiddot ti [yw] hyn oll.
17 ᑫ Gwn hefyd O fy Nuw mai ti sydd yn q 1 Sam 16,7
profi y galon, ac a ewyllysi * gyfiawnder: myfi Sal.7,8,9
yn uniondeb fyng-halon o wirfodd a offrymmais Pen.28, 9
hyn oll, ac yn awr y gwelais dy bobl y rhai a Sal. 51,6
gafwyd ymma, mewn llawenydd yn offrymmu Diar. 11, 20
yn ewyllyscar ʸ ti.
18 ʳ Arglwydd Dduw Abraham, Isaac ac rIer. 10, 23
Israel ein tadau ni, cadw hyn yn dragywydd Act. 11, 23
ym mryd meddyliau calon dy bobl: a pharatoa Petr 23,9
galon y bobl attat ti. Sal 119,5
19 ˢ A dyro i Salomon fy mab galon berffaith sSal 72,1
i gadw dy orchymynnion, dy dystiolaethau a'th Pen. 22, 25
ddeddfau, ac iw gwneuthur [hwynt] oll, ac i a 22, 14
adailadu y tŷ 'r hwn a ddarperais i.
20 ᵗ Dywedodd Dafydd hefyd wrth yr holl tSal 103, 1, 2, 20
dyrfa, Bendithiwch attolwg eich Arglwydd
Dduw: yna'r holl dyrfa a fendithiasant Argl-
wydd Dduw eu tadau, ac a ymgrymmasant, ac

a ymostyngasant i'r Arglwydd, ac i'r brenin.
21 ᵘ Aberthasant hefyd ebyrth i'r Arglwydd,
u1 Bren. 8, 63 a thrannoeth [yn ol] y dydd hwnnw, yr aberth-
asant yn boeth offrymmau i'r Arglwydd fil o fus-
tych, [a] mil o hyrddod, mil o wyn ai diod offr-
wm: ac ebyrth yn aml dros holl Israel.
v 1 Bren. 1, 35 22 ᵛ Yna y bwyttasant hwy, ac yr yfasant ger
bron yr Arglwydd y diwrnod hwnnw mewn lla-
wenydd mawr, a gosodasant Salomon fab Da-
fydd yn frenin yr ail waith: ac eneiniasant ef i'r
Arglwydd yn flaenor, a Zadoc yn offeiriad.
w Esa. 9, 7 23 ʷ Felly'r eisteddodd Salomon ar orseddfa'r
Dat. 3, 21 Arglwydd yn frenin yn lle Dafydd ei dad, ac a
lwyddodd: a holl Israel a wrandawsant arno ef.
x Sal. 72, 10 24 ˣ Yr holl dywysogion hefyd, a'r cedyrn, a
Dan. 7, 14 chyd a hynny holl feibion y brenin Dafydd a
Dat. 11, 5 dyngasant [ar fod] tan Salomon y brenin.
1 Tim. 6, 5 25 ʸ A'r Arglwydd a fawrygodd Salomon yn
y Sal. 45, 2 rhagorol yng-wydd holl Israel, ac a roddes
Preg. 2, 9 iddo ogoniant brenhinawl, math yr hwn ni bu i
un brenin o'i flaen yn Israel.
26 ᶻ Felly Dafydd mab Isai a deyrnasodd ar
holl Israel. 10, 11
27 ᵃ A'r dyddiau y teyrnasodd efe ar Israel a 1 Bren. 2, 11
[oeddynt] ddeugain mlynedd: saith mlynedd 2 Sam. 5
y teyrnasodd efe yn Hebron, a thair blynedd ar
ddec ar hugain y teyrnasodd efe yn Ierusalem.
28 ᵃ Ac efe a fu farw mewn oedran têg, yn gyf-
lawn o ddyddiau, cyfoeth, ac anrhydedd: a
Salomon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
29 ᵇ Ac [am] weithredoedd cyntaf a diweddaf b 1 Sam. 9
y brenin Dafydd, wele y maent yn scrifennedic
yng-eiriau Samuel y gweledudd, ac yng-eiriau
Nathan y prophwyd, ac yng-eiriau Gad y gwel-
edudd,
30 Gyd ai holl frenhiniaeth ef, ai gadernid, a'r
amserau y rhai aethant trosto ef, a thros Israel,
a thros holl deyrnasoedd y ddaear.

---

# YR AIL LLYFR
## OR
# CRONICL.

### PEN. I.

*Salomon yn offrymmu yn Gibeon, 8 Yn gweddio hefyd am ddoethineb, 11 Ac yn cael hynny, a chwaneg. 14 Nifer meirch, a cherbydau Salomon: a lluosogrwydd ei olud ef.*

a 1 Bren. 2, 46 YNA Salomon mab Dafydd a ymgadarn-
a 1 Cron 29, 25 haodd ar ei orseddfaingc, ᵃ a'r Arglwydd
Rhuf. 1, 31 ei Dduw ef [ydoedd] gyd ag ef, ac ai derchafodd
Gen. 21, 22 ef yn uchel.
2 ᵇ A Salomon a ddywedodd wrth holl Israel,
Eph 1, 2, wrth dywysogion y miloedd, a'r cantoedd, ac
1 Tim. 6, 15 wrth y barn-wyr, ac wrth bob pennaeth yn holl
Phil. 2, 9 Israel [sef] y pennau cenedl.
b 1 Cron. 28, 1 a 29, 1 3 ᶜ Felly Salomon a'r holl dyrfa gyd ag ef a aeth-
c 1 Bren. 3, 4 ant i'r uchelfa yr hon [oedd] yn Gibeon, canys
c Lef. 1, 1 yno'r oedd pabell cyfarfod Duw, yr hon a wnelse
Ex. 26, 1 Moses gwâs yr Arglwydd yn yr anialwch.
d Ios. 9, 17 4 ᵈ Eithr Arch Dduw a ddugase Dafydd i fynu
o Ciriath-iearim i'r [lle] a ddarparase Dafydd
iddi: canys efe a estynnase iddi hi babell yn
Ierusalem.
5 ᵉ Hefyd yr allor brês yr hon a wnelse Beza-
e Ex 38, 1 leel mab Uri, fab Hur [oedd] yno o flaen pabell
Lef. 17, 3 yr Arglwydd: a Salomon a'r dyrfa ai hargei-
e Lef. 1, 3, 5 siodd hi.
6 A ᵉ Salomon a offrymmodd yno ar yr allor
brês ger bron yr Arglwydd yr hon [oedd] yn
mhabell y cyfarfod: a ᵉ mil o boeth offrymmau
a offrymmodd efe arni hi.
7 ᶠ Y nosson honno'r ymddangosodd Duw i
Salomon, ac y dywedodd wrtho ef, Gofyn yr
hyn a roddaf i ti.
8 ᵍ Yna y dywedodd Salomon wrth Dduw, Ti g 1 Cron. 28, 5
a wnaethost fawr drugaredd a'm tâd Dafydd, ac
a wnaethost i mi deyrnasu yn ei le ef:
9 ʰ Yn awr O Arglwydd Dduw, siccrhaer dy
air wrth fy nhad Dafydd, canys gwnaethost i mi
deyrnasu ar bobl mor lluosog a llwch y ddaiar.
10 ⁱ Yn awr dyro i mi ddoethineb, a gwybod-
aeth, fel yr elwyf allan, ac y delwyf i mewn o
flaen y bobl hyn: canys pwy a ddichon farnu y
bobl luosog hyn?
11 ʲ Yna y dywedodd Duw wrth Salomon, O
herwydd bod hyn yn dy feddwl di, ac na ofyn-
naist gyfoeth, golud, na gogoniant, nac einioes
dy elynnion, ac na ofynnaist lawer o ddyddiau
ychwaith, eithr gofyn o honot ddoethineb, a gw-
ybodaeth, fel y llywodraethit fy mhobl, y rhai
i'th osodais yn frenin arnynt:
12 ᵏ Doethineb, a gwybodaeth a roddwyd it,
cyfoeth hefyd, a golud, a gogoniant a roddaf it,

y rhai ni bu eu cyffelyb gan y brenhinoedd y
rhai [a fuant] o'th flaen di, ac ni bydd eu cyffelyb ar dy ol di.
13 A Salomon a ddaeth o'r uchelfa'r hon [ydoedd] yn Gibeon i Ierusalem oddi ger bron
pabell y cyfarfod, ac a deyrnasodd ar Israel.
14 A Salomon a gasclodd gerbydau, a
marchogion, ac yr oedd ganddo ef fil, a phedwar
cant o gerbydau, a deuddeng-mil o wŷr meirch, ac
efe ai gosododd hwynt yn ninasoedd y cerbydau, ac yn Ierusalem gyd a'r brenin.
15 A'r brenin a roddodd arian, ac aur yn
Ierusalem fel cerric, a chedr-wŷdd a roddes
efe fel ffigus-wŷdd o amldra, y rhai ydynt yn
tyfu yn y dol dir.
16 A * dyfodiad y meirch y rhai oedd gan
*1 Bren. Salomon oedd o'r Aipht, felly y gweoedd:
10. 8 marchnadwyr y brenin a gymmerent weoedd
Esa 19.9 Ezec 27, 7 am werth.
aMal 1,1 17 [a] Canys denent i fynu, a dygent o'r Aipht
[feirch pob] cerbyd am chwe chant [darn] o
arian: sef [pob] march am gant a hanner, ac
felly y dygent i holl frenhinoedd yr Hethiaid,
ac i frenhinoedd Syria gyd a hwynt.

## PEN. II.

*Rhifedi seiri Salomon. 3 Salomon yn gyrru at Hiram i ddeisyf coed, a gweith wyr.*

bMat 6,9 YNA [b] y meddyliodd Salomon am adail-
1Bren. 5, 3 adu tŷ i enw yr Arglwydd, ai frenhin-dy
Deut.28, 58 ei hun.
1Bren. 9 1 2 [c] A Salomon a rifodd ddeng-mil a thrugain
c1 Bren. 5, 15 o glud-wŷr, a phedwar ugain mil o gymyn-wyr
1Bren. 4, 33 yn y mynydd: ac yn oruchwil-wŷr arnynt hwy
1Bren. 8, 6 dair mil a chwe-chant.
d1 Bren. 5, 1 3 [d] A Salomon a anfonodd at Hiram brenin
Tyrus gan ddywedyd, Megis y gwnaethost a
Dafydd fy nhâd, ac yr anfonaist iddo cedr-
wŷdd i adailadu iddo dŷ i drigo ynddo.
e1 Bren. 5,5. a8,18 4 [e] Wele fi yn adailadu tŷ i enw yr Ar-
Ex 25.30 glwydd fy Nuw iw gyssegru, i arogl-darthu
Lef. 24,8 arogl-darth arogl-bêr, a gwastadol osodiad
[bara,] a phoeth offrymmau boreu, a hwyr: ar
y Sabbothau, ac ar y newydd loerau, ac ar os-
odedic wyliau'r Arglwydd ein Duw ni, hyd byth
y mae hyn ar Israel.
f Ex. 15, 11 5 [f] A'r tŷ yr hwn a adailadaf [fydd] mawr,
canys mwy [yw] ein Duw ni na'r holl dduwiau.
g1Bren. 8, 27 Esa. 66,1 6 [g] A phwy a gasel nerth i adailadu iddo ef
dŷ? canys y nefoedd, ïe nefoedd y nefoedd nid
amgyffredant ef, a phwy ydwyfi, yr hwn a
adailadwn iddo ef dŷ, eithr i arogl-darthu oi
flaen ef?
Esa.28, 7 [h] Felly yn awr anfon i mi ŵr cywraint i weith-
Bren.8 io mewn aur, ac mewn arian, mewn prês, ac
mewn haiarn, ac mewn porphor, ac scarlat, a
Cron. 2,3 sidan glas, ac yn medru cerfio cerfiadau gyd a'r

rhai celfydd y rhai ydynt gyd a mi yn Iuda, ac
yn Ierusalem, y rhai a ddarparodd fy nhâd
Dafydd.
8 Anfon hefyd i mi goed cedr, a ffynnidwydd,
* a Algumim-wŷdd o Libanus: canys mi fi a *Pen 5 6 1Bren 10 11
wn y meidr dy weision di naddu coed Libanus,
ac wele fyng-weision inne a [fyddant] gyd a'th 1Bren. 5, 6
weision dithe.
9 A [hynny] i ddarparu i mi lawer o goed
cedr-wŷdd, canys y tŷ yr hwn yr ydwyfi ar ei
adailadu [fydd] mawr a rhyfedd.
10 [i] Ac wele i'r seiri y rhai a naddant y coed i1Bren 7 26
y rhoddais ugain-mil Corus o wenith wedi ei
guro i'th weision, ac ugain mil Corus o haidd,
ac ugain-mil Bath o wîw, ac ugain mil Bath
o olew.
11 [k] A Hiram brenin Tyrus a attebodd mewn kSal. 146 2
scrifen, ac a anfonodd at Salomon, O gariad yr Deut 7.8
Arglwydd ar ei bobl y rhoddes efe dydi yn Ezec. 16, 8
frenin arnynt hwy. Mal. 1, 2
12 [l] Dywedodd Hiram hefyd, Bendigedic lGen. 1,1 2
[fyddo] Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a
wnaeth nef a daiar, am roddi o honaw ef i'r
brenin Dafydd fab doeth, gwybodus o synwyr,
a deall i adailadu tŷ i'r Arglwydd, ai frenhin-dŷ
ei hun.
13 [m] Ac yn awr yr anfonais ŵr celfydd, cyw- m Pen 4, 16
raint, a deallus o'r eiddo fy nhâd Hiram. 1Bren. 7 14
14 Mab gwraig o ferched Dan, ai dad yn ŵr
o Dyrus yn medru gweithio mewn aur, ac mewn
arian, mewn pres, mewn haiarn, mewn cerrig,
ac mewn coed, mewn porphor, ac mewn sidan
glas, ac mewn lliain main, ac mewn scarlat, ac
i gerfio pob cerfiad, ac i ddychymygu pob dy-
chymyg yr hwn a roddid atto ef, gyd a'th rai
cywraint di, a rhai cywraint fy arglwydd Da-
fydd dy dâd.
15 Ac yn awr y gwenith, a'r haidd, yr olew,
a'r gwîn, y rhai a ddywedodd fy arglwydd,
Anfoned hwynt i'w weision.
16 [n] Ac ni a gymynwn goed o Libanus, yn ol dy n 1Bren. 5, 9
holl raid, ac ai dygwn hwynt it yn gludeiriau Act. 10, 32
arhyd môr Iapho: dwg dithe [hwynt] i fynu i Iona 1, 3.
Ierusalem. Ezra 3,7 Ios.19,46
17 [o] A Salomon a rifodd yr holl wŷr dieithr y o1 Bren. 9, 20
rhai [oeddynt] yn nhir Israel wedi y rhifiad a'r Pen 8, 7
hon y rhifase Dafydd ei dâd ef hwynt: a chaed,
tair ar ddêc a saith ugain o filoedd, a chwe-
chant.
18 [p] Ac efe a wnaeth o honynt hwy ddeng- p Neh.4, 10
mil, a thrugain yn glud-wŷr, a pedwar ugain mil Pen. 34, 13
yn nadd-wyr yn y mynydd, a thair mil a chwe- 1 Bren. 6,1
chant yn oruwch-wil-wyr i beri i'r bobl weithio. Gen.23,2 8, 14 2Sam. 24 28

## PEN. III.

*Gwaith y deml, y porth, ai perthynasau.*

ASALOMON a ddechreuodd adeiladu tŷ
q 1Cron. 21, 18 yr Arglwydd yn Ierusalem[q] yn mynydd
Moria; lle yr ymddangosase [yr Arglwydd] i
Ddafydd ei dad ef yn y lle hwn a ddarparase
Dafydd yn llawr dyrnu Ornan y Iebusiad.
r 1Bren. 6, 1 2 [r] Ac efe a ddechreuodd adeiladu ar yr ail
[dydd] o'r ail mis, yn y bedwaredd flwyddyn oi
deyrnasiad ef.
s Ioan 3, 34 3 [s] Ac dymma [fesurau] sylfaeniad Salomon
1Bren. 1, 19 wrth adeiladu tŷ Dduw, yr hŷd [oedd] o gufydd-
1Cron. 28, 11 au wrth y mesur cyntaf yn dri ugain cufydd, a'r
1Bren. 6, 2 lled yn ugain cufydd.
4 [t] A'r porth yr hwn [oedd] wrth dalcen hŷd y
1Cron 28, 11 tŷ [oedd] un hŷd a lled y tŷ yn ugain cufydd,
t 1Bren. 6, 3 ai uchter yn chwech ugain cufydd, ac efe a or-
eurodd hwn o fewn ag aur pur.
u 1Bren. 6, 17 5 [u] A'r tŷ mawr a fyrddiodd efe â ffynnidwydd,
1Bren. 6, 15 ac ai goreurodd ag aur da, ac a gerfiodd balm-
1Bren. 6, 18 wydd, a chadwynau ar hyd-ddo ef.
6 [v] Ac efe a wiscodd y tŷ â meini gwerthfawr
v 1Bren. 10, 2 yn hardd, a'r aur [oedd] aur Parfaim.
1Cron. 29, 8 7 [w] Ie efe a oreurodd y tŷ, y trawstydd, y rhini-
1Bren. 6, 20 ogau, ei barwydydd hefyd, ai ddorau ag aur: ac
a 9, 28 efe a gerfiodd Gerubiaid ar y parwydydd.
w 1Bren 6, 23 8 [x] Ac efe a wnaeth dŷ y cyssegr sancteidd-
x 1Bren. 6, 5, 19, 20 iolaf, ei hŷd [oedd] un hŷd a llêd y tŷ yn ugain
cyfydd, ai lêd yn ugain cyfydd: ac efe ai goreu-
rodd ef ag aur dâ [sef] a chwe-chant talent.
y 1Bren. 6, 23 9 [y] Ac [yr oedd] pwys yr hoelion o ddêc sicl
Ioan 14, 2 a deugain o aur, y llofftydd hefyd a oreurodd
efe ag aur.
z Gen. 3, 24 10 [z] Ac efe a wnaeth yn nhŷ y cyssegr sanct-
eiddiolaf ddau Gerub ar waith bechgin, ac ai
gwiscasant hwynt hefyd ag aur.
* 1Bren. 6, 24 11 Ac * adenydd y cerubiaid [oeddynt] ugain
cufydd eu hŷd, y naill aden o bump cufydd yn
cyffwrdd a phared y tŷ: o'r aden arall o bump
cufydd yn cyffwrdd ag aden y Cerub arall.
12 Ac aden y Cerub o bump cufydd yn cyff-
wrdd a phared [arall] y tŷ, a'r aden arall o
bump cufydd yng-lyn wrth aden y Cerub arall.
13 Adenydd y Cerubiaid hyn a ledwyd yn
ugain cufydd, a hwythau oeddynt yn sefyll ar
eu traed, ai hwynebau tu ag i fewn.
a Mat. 27, 51 14 [a] Ac efe a wnaeth wahan-lenn o sidan glâs,
Ex. 26, 31 a phorphor, ac scarlet, a lliain main, ac a ger-
1Bren. 6, 21 fiodd Gerubiaid ar hynny.
b 1Bren. 7, 15 15 [b] Gwnaeth hefyd ddwy golofn o flaen y tŷ
Ier. 32, 21 yn bymthec cufydd ar hugain o hŷd, a chap
[pob un] yr hwn [oedd] ar ei phen o bum
cufydd.
16 Ac efe a wnaeth gadwyni wrth y gafell,
ac ai rhoddodd ar benn y colofnau: ac efe a
wnaeth gant a bomgranadau, ac ai rhoddodd
ar y cadwynau.
* 1Bren. 6, 21 17 * A chyfododd y colofnau o flaen y deml,
un o'r tu dehau, ac un o'r tu asswy, ac a alwodd
henw yr dehau Iachin, a henw yr asswy Boaz.

## PEN. IV.

*Gwaith yr allor. 2 Y gerwyn. 6 Y noeau. 7 Y Canhwyll-brennau, ac eraill o ddodrefnau yr deml.*

AC [c] efe a wnaeth allor bres, o ugain cufydd c Ex. 27, 1
ei hyd, ac ugain cufydd ei lled, a dêc Heb 13, 10
cufydd ei huchter. 1Bren 8, 22
2 [d] Gwnaeth efe hefyd gerwyn dawdd yn Lef. 9, 22
ddec cufydd oi [naill] ymyl hyd ei hymyl [arall] Ex. 30, 25 d 1 Bren. 7, 23
yn gron o amgylch, ac yn bump cufydd ei
huchter: a llinin o ddec cufydd ar hugain ai
hamgylche hi oddi amgylch.
3 [e] A llun [wynebau] ychen [oedd] tani hi yn e 1 Bren. 7, 23, 24, 25
ei hamgylchu hi o amgylch, mewn dec cufydd
yr oeddynt yn amgylchu y gerwyn oddi am-
gylch: dwy res o [wynebau] ychen oeddynt
wedi eu toddi, pan doddwyd hithe.
4 Sefyll yr oedd hi ar ddeuddec o ychen, tri
yn edrych tua'r gogledd, a thri yn edrych tua'r
gorllewin: a thri yn edrych tua'r dehau, a thri
yn edrych tua'r dwyrain: a'r gerwyn arnynt
oddi arnodd, ai holl bennau ol hwynt o fewn.
5 * Ai thewder [oedd] ddyrnfedd, ai hymyl fel * 1 Bren. 7, 26
gwaith ymyl cwppan, [fel] blodeun lili, tair mil
o bathau a ddalie hi.
6 [f] Gwnaeth efe hefyd ddec o noeau, ac efe a f 1 Bren. 7, 3, 8
roddodd bump o'r tu dehau, a phump o'r tu Esa. 4, 4
asswy, i ymolchi ynddynt: trochent ynddynt Zec. 13, 1
ddefnydd y poeth offrwm, a'r gerwyn [oedd] i'r Ezec. 40, 38
offeiriaid i ymolchi ynddi. 1Bren. 7, 26
7 * Ac efe a wnaeth ddec canhwyll-bren aur * Ex. 25, 31, 49
yn ol eu portreiad, ac [ai] rhoddes yn y deml, 1Cron. 28, 11, 15
pump o'r tu dehau, a phump o'r tu asswy.
8 [g] Gwnaeth hefyd ddec o fyrddau, ac ai g 1 Bren. 7, 40
rhoddes yn y deml, pump o'r tu dehau, a phump Sal. 23, 5
o'r tu asswy: ac efe a wnaeth gant o gawg-
iau aur.
9 [h] Ac efe a wnaeth gyntedd yr offeiriaid, a'r h 1 Bren. 6, 36
cyntedd mawr, a dorau i'r cynteddoedd, ai 1Bren 7, 12
dorau hwynt a wiscodd efe a phres.
10 [i] Ac efe a osododd y gerwyn yn yr ystlys 1Bren 7, 38, 45
dehau tua'r dwyrain ar gyfer y dehau. i 1Bren. 7, 39
11 [j] Gwnaeth Hiram hefyd grochanau, a j 1Bren. 7, 13, 14
rhawiau, a chawgiau, a darfu i Hiram wneuthur
y gwaith yr hwn a wnaeth efe i'r brenin Salo-
mon yn nhŷ Dduw.
12 [Sef] dwy golofn, a chnappiau, a choronau
ar ben y ddwy golofn, a dwy bleth i guddio y
ddau gnapp goronoc, y rhai [oeddynt] ar ben y
colofnau.
13 [k] A phedwar-cant o bomgranadau ar y k Can. 4, 13
ddwy bleth, dwy res [oedd] o bomgranadau ar Sal. 1, 3
bob pleth: i guddio y ddau gnapp goronoc y a 92, 13
rhai [oeddynt] ar bennau y colofnau. 1Cor. 12, 4, 5
14 [l] Ac efe a wnaeth ystolion, ac a wnaeth l 1 Bren. 7, 32

noeau ar yr ystolion:
15 [Gwnaeth] un gerwyn, a deuddec o ychen
tani.
m 1 Bren. 7, 45 Ex. 27, 3 1 Cron. 28, 17 16 [m] Y crochanau hefyd, a'r rhawiau, a'r cig-
weiniau, a'i holl lestri hwynt a wnaeth Hiram
ei dâd i'r brenin Salomon yn nhŷ'r Arglwydd o
bres gloiw.
n 1 Bren. 7, 47 17 [n] Yng-wastadedd yr Iorddonen y toddodd
y brenin hwynt mewn clei-dir rhwng Sucoth a
Zaredatha.
* 1 Bren. 7, 47 18 * Ie gwnaeth Salomon yr holl lestri hyn yn
lluosog iawn, canys anfeidrol oedd bwys y
pres.
Pen 26, 6, 18 19 * A Salomon a wnaeth yr holl lestri y rhai
[ydynt yn] nhŷ Dduw: a'r allor aur, a'r byrdd-
au, a'r bara gosod arnynt.
p Ex. 25, 7, 31, 37 1 Bren. 6 20 [p] A'r canhwyll-brennau, ai llusernau (iw
goleuo yn ol y ddefod a flaen y gafell) yn
aur pur.
21 Y blodau hefyd, a'r llusernau, a'r gefeiliau
[oeddynt] aur, [a] hwnnw yn aur perffaith.
* 1 Bren. 7, 50 Bren. 6, 31 22 * Y psaltringau hefyd, a'r cawgiau, a'r
llwyau, a'r thusserau [oeddynt] aur pur: felly
drws y tŷ, ai ddorau o du fewn y cyssegr sanct-
eiddiolaf, a dorau tŷ y deml [oeddynt] aur.

## PEN. V.

*Salomon yn dwyn i'r deml offrymmau Dafydd ac Arch yr Arglwydd. 11 Ac yn peri i'r holl Lefiaid ganu moliant Dduw.*

FELLY y * gorphenwyd yr holl waith yr
hwn a wnaeth Salomon yn nhŷ yr Ar-
glwydd: a Salomon a ddug yr hyn a gyssegrase
Dafydd ei dad, ac a osododd yn nhryssorau tŷ
Dduw yr arian, a'r aur, a'r holl lestri.
1 Bren. 8, 1, 2 Num. 10, 3 2 * Yna y cynhullodd Salomon henuriaid
Israel, a holl bennau y llwythau, pennau cenedl
meibion Israel i Ierusalem, i ddwyn i fynu Arch
cyfammod yr Arglwydd o ddinas Dafydd, hon-
no [yw] Sïon.
1 Bren. 8 3 [r] Am hynny holl wŷr Israel a ymgynnullas-
ant at y brenin, a'r uchel-wŷl honno [oedd yn] y
seithfed mîs.
Num. 4, 1 Bre. 8. 3 4 * A holl henuriaid Israel a ddaethant, a'r
Lefiaid a ddugasant yr Arch:
Lef. 16 1 Num. 4. 2 Sam. 6, 3 5 [t] Yna y dugasant i fynu'r Arch, a phabell y
cyfarfod, a holl lestri y cyssegr, y rhai [oeddynt]
yn y babell, yr offeiriaid Lefiadaidd ai dugasant
hwynt i fynu.
Gen 12, 6 [u] Yna y brenin Salomon, a holl gynnulleidfa
Israel y rhai a gyfarfuant ag ef o flaen'r Arch a
aberthasant o ddefaid, a gwartheg fwy nag a
ellid eu rhifo nai cyfrif gan luosogrwydd.
1 Bren. 8, 6 1 Bren. 6, 7 a 8, 6 Ex. 25, 15 Luc 1, 6 7 [v] Felly'r offeiriaid a ddugasant Arch cyfam-
mod yr Arglwydd iw lle, i gafell y tŷ, i'r cyssegr
sancteiddiolaf, hyd dan adenydd y Cerubiaid.
8 [x] A'r Cerubiaid oeddynt yn lledu eu had-
enydd tros lê yr Arch: a'r Cerubiaid a gyscod-
ent yr Arch, a thros ei throsolion oddi arnynt.
9 [x] Pan estynnent y trosolion y gwelyd pen- x 1 Bren. 7, 8
nau y trosolion o'r Arch o flaen y gafell, ac ni
welyd hwynt oddi allan: yno hefyd y mae hi
hyd y dydd hwn.
10 [y] Nid [oedd] yn yr Arch ond y ddwy lêch, y 1 Bren. 8, 9
y rhai a roddase Moses yn Horeb, llê y gwna- Num. 10, 33
ethe yr Arglwydd gyfammod a meibion Israel Deut. 10 2, 5
pan ddaethant hwy allan o'r Aipht.
11 [z] A phan ddaeth yr offeiriaid o'r cyssegr z 1 Bren 8 10
(canys yr holl offeiriad y rhai a gafwyd, a ym- Ex. 19. 10
sancteiddiasent heb gadw dosparthiad, 1 Cron. 15 14
12 [a] Felly y Lefiaid y rhai oeddynt gantorion o Gen. 35, 3
honynt hwy oll [sef] o Asaph, o Heman, o Ie- 1 Cron. 24 2, 3
duthun, ac o'i meibion hwynt, ac oi brodyr, wedi a 1 Cron. 25, 1
eu gwisco â lliain main, a symbalau, ac a nablau, Dat. 7, 13 a 15. 6
a thelynau, yn sefyll o du dwyrain yr allor, a Sal 132, 6
chyd a hwynt chwech ugain o offeiriaid yn ud- Marc 15, 16
canu mewn udcyrn. Phil. 2 15
13 [b] Ac hwyntau yn gydtun a udganent, ac a b Sal. 136 1
ganent, gan seinio un sain i glodfori, ac i folia- Mat. 19 17
nnu yr Arglwydd: ac wrth dderchafu sain mewn 1 Bren. 8, 10, 11
udcyrn, ac mewn symbalau, ac mewn offer cerdd,
ac wrth foliannu'r Arglwydd mai da yw, ac mai
yn dragywydd [y mae] ei drugaredd ef) yna y
llawnwyd y tŷ a niwl [sef] tŷ'r Arglwydd.
14 [c] Ac ni alle yr offeiriaid sefyll i wasanaethu c Num. 12 10
gan y niwl: o herwydd gogoniant yr Arglwydd Dat. 15, 8
a lawnase dŷ Dduw.

## PEN. VI.

*Salomon yn bendithio y bobl. 4. Yn moliannu Duw. 14. Ac yn gweddio tros y rhai a weddient yn y deml neu tu ag atti hi.*

YNA† y llefarodd Salomon; Yr Arglwydd † 1 Bren. 8. 12
a ddywedodd yr arhose efe yn y cwmwl. Lef. 16, 2 Sal. 97, 2
2 [d] A minne a adeiledais dŷ yn drigfa it; a lle d Dat. 21, 3
i th breswylfod yn dragywydd.
3 [e] A'r brenin a drodd ei wyneb ac a fendith- e 1 Sam. 6. 18
iodd holl gynnulleidfa Israel: (canys holl gyn- Sal. 134, 3
nulleidfa Israel oedd yn sefyll [yno]). Luc 24 50
4 [f] Ac efe a ddywedodd, Bendigedic [fyddo] Barn. 3, 20
Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a lefarodd ai f Tit. 1, 2
enau wrth Ddafydd fy nhad: ac a gwplaodd ai Sal. 12, 6
ddwylaw, gan ddywedyd,
5 [g] Er y dydd y dugym i fy mhobl allan o wlad g 2 Sam. 7 16
yr Aipht ni ddetholais ddinas o holl lwythau Isr- Gen. 49, 10
ael i adeiladu tŷ i fod fy enw ynddo: ac ni ddew-
isais ŵr i fod yn flaenor ar fy mhobl Israel:
6 [h] Ond mi a etholais Ierusalem i fod fy enw h Sal 48, 1
yno: ac mi a ddewisais Ddafydd i fod ar fy Deut. 12, 5
mhobl Israel. Hos. 3, 5
7 † Pan oedd ym mryd Dafydd fy nhad i adail- † 2 Sam. 7, 2
adu tŷ i enw Arglwydd Dduw Israel, 1 Bren. 5, 3
8 [i] Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Dda- i 2 Cor. 9 12
fydd fy nhad, O herwydd bod yn dy feddwl di
adeiladu tŷ i'm henw i: da y gwnaethost ym fod

hynny yn dy fryd di.
j Gen. 35, 3 9 [j] Er hynny nid adeiledi di y tŷ; onid dy fab
di yr hwn a ddaw allan o'th lwynau di, efe a
adeilada y tŷ i'm henw i.
k Sal. 21, 3 10 [k] Am hynny yr Arglwydd a gwplaodd ei
air yr hwn a lefarodd efe: canys mi a gyfodais
yn lle Dafydd fy nhad, ac a eisteddais ar orsedd
fa Israel, fel y llefarodd yr Arglwydd, ac mi a
adeiledais dŷ i enw Arglwydd Dduw Israel.
l 1 Bren. 8, 21 11 [l] Ac yno y gosodais yr Arch yn yr hon [y
mae] cyfammod yr Arglwydd: yr hwn a am-
mododd efe a meibion Israel.
m Ex. 9, 29 12 [m] A [Salomon] a safodd o flaen allor yr
1 Bren. 8, 22 Arglwydd ger bron holl gynnulleidfa Israel; ac
Esa. 1, 15 a estynnodd ei ddwylaw.
n 2 Bren. 11, 14 13 [n] A Salomon a wnaethe bulpud pres, ac ai
1 Bren. 7, 9, 12 gosodase yng-hanol y cyntedd, yn bump cufydd
1 Bren. 8, 22 ei hyd, a phump cufydd ei led, a thri chufydd ei
Sal. 10..3 uchter: ac efe a safodd arno, ac a ostyngodd ar
Luc 22, 14 ei liniau ger bron holl gynnulleidfa Israel, ac a
Act. 20, 36 estynnodd ei ddwylo tu a'r nefoedd.
Eph. 3, 11
o Ex. 15, 11 14 [o] Ac efe a ddywedodd, O Arglwydd
Gen. 15, 11 Dduw Israel nid [oes] Duw cyffelib i ti yn y
Sal. 116, 9 nefoedd, nac yn y ddaiar, yn cadw y cyfammod
a'r drugaredd a'th weision y rhai ydynt yn
rhodio ger dy fron di ai holl galon.
15 Yr hwn a gedwaist a'th wâs Dafydd fy
nhâd yr hyn a lefaraist wrtho ef: fel y llefer-
aist a'th enau, felly y cwpleaist a'th law megis
[y gwelir] y dydd hwn.
p 2 Sam. 7, 12 16 [p] †Ac yn awr O Arglwydd Dduw Israel
1 Bren. 2, 4 a 6, 12 cadw a'th wâs Dafydd fy nhâd yr hyn a lefer-
Sal. 2, 1, 12 aist wrtho ef, gan ddywedyd, Ni thorrir ym
Sal. ...s maith oddi wrthit [fel na byddo] gŵr ger fy
a 119, 1 mron i yn eistedd ar deyrn-gadair Israel: os dy
†1 ... 26 feibion a gadwant eu ffordd gan rodio yn fyng-
hyfraith, i fel y rhodiaist ti ger fy mron i.
17 Yn awr gan hynny O Arglwydd Dduw
Israel: poed gwir fyddo dy air yr hwn a lefer-
aist wrth dy wâs Dafydd.
q Pen. 2, 6 18 [q] Ai gwir yw y preswylia Duw gyd a dyn
1 Bren. 8, 32 ar y ddaiar? wele y nefoedd, a nefoedd y ne-
Sal. 139, 8 a 142, 2 foedd ni'th ymgyffredant di, pa faint lai [y di-
chon] y tŷ hwn a adailediais i?
19 Edrych gan hynny ar weddi dy wâs, ac ar
ei ddeisyfiad ef O Arglwydd fy Nuw: i wrando
ar y llef, ac ar y weddi yr hon y mae dy wâs yn
ei gweddio ger dy fron di.
20 Fel y byddo dy lygaid yn agored tua'r tŷ ym-
ma ddydd a nôs, tua yr lle [am] yr hwn y dywed-
aist y gosodit dy enw yno: i wrando ar y weddi yr
hon a weddia dy wâs di yn y fan honno.
21 Gwrando gan hynny ddeisyfiadau dy wâs,
a'th bobl Israel y rhai a weddiant yn y lle hwn:
gwrando di hefyd o le dy bresswylfod, [sef] o'r
nefoedd pan glywech, yna maddeu di.

22 Pan becho gŵr yn erbyn ei gymmydog, a
chynnig iddo raith, gan ei dyngu ef: yna deued
y llw o flaen dy allor di yn y tŷ hwn.
23 A gwrando di o'r nefoedd, gwna hefyd, a
barna dy weision, gan dalu i'r drygionus, drwy
roddi ei ffordd ef ar ei benn: a chan gyfiawnhau
y cyfiawn, drwy roddi iddo yntef yn ôl ei gyfi-
awnder.
24 [r] A phan leddir dy bobl Israel o flaen y r Lef. 26, 7, 8, 17
gelyn am iddynt bechu yn dy erbyn: os dych-
welant, a chyfaddef dy enw: a gweddio, ac ym-
bil ger dy fron di yn y tŷ hwn,
25 [s] Yna gwrando di o'r nefoedd, a maddeu s Sal. 85, 1, 2, 3
di bechod dy bobl Israel: dychwel hefyd Lef. 26,
hwynt i'r tîr yr hwn a roddaist iddynt hwy, ac 40
iw tadau.
26 [t] Pan gaeir y nefoedd fel na byddo glaw o t 1 Bren. 17, 1 a 8,
herwydd pechu o honynt hwy i'th erbyn: os 45
gweddiant yn y lle hwn, a chyfaddef dy enw, a Diar. 28,
dychwelyd o honynt oddi wrth eu pechod pan 13 Esa. 1, 13
gystuddiech hwynt. 15
27 [u] Yna gwrando di o'r nefoedd, maddeu u Sal. 95,
bechod dy weision, a'th bobl Israel (pan ddysc- 11 1 Bren. 8,
ech iddynt y ffordd oref yr hon y rhodient yn- 36
ddi) a dyro law ar dy wlad yr hon a roddaist
i'th bobl yn etifeddiaeth.
28 [v] † Pan fyddo newyn yn y tir, pan fyddo v Ruth 1,
haint, deifiad, neu falldod, pan fyddo ceiliogod 1 Pen. 20,
rhedyn neu locustiaid, pan warchao ei elyn ar- 10 1 Bren.
no ef yn ninasoedd ei wlad ef: [neu] pa bla byn- 37
nac, neu glefyd bynnac [a fyddo,]
29 Pob gweddi, pob deisyfiad a'r a fyddo gan
bob dyn, a chan holl bobl Israel; pan wypo
pawb ei bla ei hun, ai ddolur, ac estyn ei ddwy-
law tu a'r tŷ hwn:
30 [w] Yna gwrando di o'r nefoedd, o fangre dy w 1 Cron.
bresswylfod, a maddeu di, gwna hefyd, a dyro 28, 9 Jer. 17, 9
i bob un yn ol ei holl ffyrdd ef, yr hwn a ad- 10 Heb. 4,
waenost ei galon ef: canys tydi yn unic a adwa- 13
enost galon meibion dynion:
31 [x] Fel i'th ofnant gan rodio yn dy ffordd di x Deut. 15
yr holl ddyddiau a'r y byddant hwy byw ar 4
wyneb y ddaiar: yr hon a roddaist i'n tadau ni.
32 [y] Ac am y dieithr-ddyn hefyd yr hwn ni y Ioan 12, 20
[byddo] o'th bobl di Israel, onid yn dyfod o Ecs. 6, 5
wlad bell er mwyn dy enw mawr a'th law ga- 1 Bren. 8, 43
darn, a'th fraich estynnedic: pan ddeuant, a
gweddio yn y tŷ hwn,
33 Yna gwrando di o'r nefoedd, o fangre dy
bresswylfod, a gwna yn ôl yr hyn oll a lefa y
dieithr-ddyn arnat: fel yr adwaeno holl bobl y
ddaiar dy enw di, i'th ofni di, fel dy bobl Israel,
ac i wybod mai ar dy enw di y gelwir yn y tŷ
ymma yr hwn a adailedais i.
34 [z] Pan êl dy bobl allan i ryfel yn erbyn eu z Preg. 36, 57
gelynion ar hyd y ffordd yr anfonech hwynt: os

gweddiant atnat ti [tua] ffordd y ddinas ymma
yr hon a ddetholaist, a'r tŷ yr hwn a adailedais
i'th enw di,
aSal. 9, 4 35 a Yna gwrando o'r nefoedd ar eu gweddi
Dat. 19, 11 hwynt, ac ar eu deisyfiad hwy: a gwna farn a
hwynt.
*Diar. 20, 9 36* Os pechant i'th erbyn (canys nid [oes] ddyn
Preg. 7, 20 yr hwn ni phecha) a diglloni o honot iw her-
1 Ioan 1, 8 byn hwynt, ai rhoddi hwynt o flaen eu gelyn-
ion, fel y caeth-gludant hwy yn gaethion i wlâd
bell, neu agos:
bLuc 15, 17 37 b Os edifarhânt yn eu calon yn y wlâd yr
hon y caeth-gludwyd hwynt iddi: a dychwelyd,
ac ymbil a thi yng-wlâd eu caethiwed, gan
ddywedyd, Pechasom, troseddasom hefyd, a
gwnaethom yn annuwiol.
cSal. 78, 36, 37 38 c Os dychwelant attat ti ai holl galon, ac
Ioel 2, 11 ai holl enaid yng-wlâd ei caethiwed lle y caeth-
gludasant hwynt: a gweddio attat ti tua eu
gwlâd yr hon a roddaist iw tadau, a'r ddinas'r
hon a ddetholaist, a'r tŷ'r hwn adailadais i'th
enw di:
dSal. 51, 4 39 d Yna gwrando di o'r nefoedd (o fangre dy
bresswylfod) eu gweddi hwynt, ai deisyfiadau
hwynt, a gwna farn a hwynt: maddeu di hefyd
i'th bobl y rhai a bechasant i'th erbyn.
eDan. 9, 18 40 e Yn awr O fy Nuw bydded dy lygaid yn
1 Bren. 8, 29 agored, a'th glustiau yn ymwrando a'r weddi
[yr hon a wneir tua] yr lle ymma.
fSal. 132, 8 41 f Ac yn awr cyfot O Arglwydd Dduw i'th
2Sam. 7, 6 orphwysfa, ti ag Arch dy gadernid: dillader dy
Pen 24, 2 Ios. 3, 15 offeiriaid O Arglwydd Dduw ag iechydwriaeth
Psa. 61, 10 a llawenyched dy saincti mewn dai ni.
Neh. 9, 25 42 g O Arglwydd Dduw na thro ymmaith
g1Cron. 28, 5 wyneb dy eneiniog: cofia drugareddau Dafydd
dy wâs.

## PEN. VII.

*Tân o'r nefoedd yn difa yr aberth, a gogoniant yr Arglwydd yn llenwi y deml.*

h1Bren. 8, 54 A h PHAN orphennodd Salomon weddio,
Dan 9, 20 yna y tân a ddescynnodd o'r nefoedd, ac
Lef. 9, 24 a ysodd y poeth offrwm, a'r ebyrth: a gogoniant
1Bren 18, 38 yr Arglwydd a lawnodd y tŷ.
Ezec. 10, 4 2 i Fel na alle yr offeiriaid fyned i mewn i dŷ yr
iDat. 15, 8 Arglwydd: o herwydd gogoniant yr Arglwydd
a lawnase dŷ'r Arglwydd.
jSal. 136, 1, 2 3 j Pan welodd holl feibion Israel y tân, a go-
Pen 5, 13 goniant yr Arglwydd yn descyn ar y tŷ: yna
hwynt a ymgrymmasant ai hwynebau i lawr ar
y palmant, ac a addolasant, ac a glodforasant
yr Arglwydd, mai da yw efe, a bod ei drugar-
edd ef yn dragywydd.
4 Yna yr brenin a'r holl bobl a aberthasant
aberth ger bron yr Arglwydd.
kLef 3, 1 5 k A'r brenin Salomon a aberthodd aberth o
Rhuf. 12, 1 ddwy fil ar hugain o ŷchen, a chwech ugain
mil o ddefaid: felly y brenin, a'r holl bobl a gys-
segrasant dŷ yr Arglwydd.
6 l A'r offeiriaid oeddynt yn sefyll yn eu lLef. 1, 2 Pen 4, 9
gorchwyliaeth, a'r Lefiaid ag offer gerdd'r Ar- 5, 11, 12
glwydd, y rhai a wnaethe Dafydd y brenin i
gyffessu i'r Arglwydd, mai yn dragywydd [y
mae] ei drugaredd ef, pan oedd Dafydd yn mol-
iannu [Duw] drwyddynt hwy: yna yr offeiriaid
oeddynt yn udcanu ar eu cyfer hwynt, a holl
Israel oeddynt yn sefyll.
7 m A Salomon a gyssegrodd ganol y cyntedd m1Bren. 8, 64, 65
yr hwn [oedd] o flaen tŷ'r Arglwydd, canys
yno y paratoase efe y poeth offrymmau, a bras-
ter yr aberthau hedd: canys ni alle yr allor brês
yr hon a wnaethe Salomon gynnal y poeth off-
rwm, a'r bwyd offrwm, a'r braster.
8 n A Salomon a gadwodd ŵyl y pryd hynny n1 Bren. 8, 65
saith niwrnod, a holl Israel gyd ag ef yn gyn- Gen. 15,
nulleidfa fawr iawn: o ddyfodfa Hemath hyd 21 a 15, 18
afon yr Aipht.
9 o Gwnaethant hefyd yr wythfed dydd gym- oNum 7, 10
manfa, canys cyssegriad yr allor a wnelsent hwy Ioan 10, 22
mewn saith niwrnod, a'r ŵyl saith niwrnod.
10 p Ac yn y trydydd dydd ar hugain o'r seith- pLef. 23, 34
fed mis y gollyngodd efe y bobl iw pabellau yn 1Bren. 9, 1
hyfryd, ac yn llawen [eu] calon am y daioni'r Sal 127. 1
hwn a wnaethe'r Arglwydd i Ddafydd, ac i Sa- 1Cron 22, 11
lomon, ac i Israel ei bobl.
11 Pan orphennodd Salomon dŷ'r Arglwydd,
a thŷ yr brenin (a'r hyn oll oedd ym mryd Sa-
lomon ei wneuthur yn nhŷ'r Arglwydd, ac yn ei
dŷ ei hun, a wnaeth efe yn llwyddiannus,)
12 q Yna'r Arglwydd a ymddangosodd i Sa- q1 Bren 3, 5 a 9, 2
lomon liw nos, ac a ddywedodd wrtho ef, Gwran- Deut. 12, 5
dewais dy weddi, ac mi a ddewisais y fann hon
i mi yn dŷ aberth.
13 r Pan attaliwyf fi y nefoedd fel na byddo rIob 38, 37
glaw, neu pan orchymynnwyf i'r locustiaid Amos 9, 3
fwytta y ddaiar: a phan anfonwyf haint ym mysc
fy mhobl,
14 s Os fy mhobl y rhai y gelwir fy enw yn eu sIago 4, 10
mysc a ymostyngant, ac a weddiant, ac a geis- Mat. 7, 7
iant fy wyneb, ac a droant oi ffyrdd drygionus: Ezec 36, 37
yna y gwrandawaf o'r nefoedd, ac y maddeuaf Sal. 24, 6
iddynt eu pechodau, ac yr iachâf eu gwlad Galar. 3, 4
hwynt.
15 t Yn awr fy llygaid a fyddant agored, a'm tPen 6, 40
clustiau yn ymwrando a'r weddi [a wneir yn] y
fann hon.
16 u Ac yn awr mi a ddetholais, ac a sanc- uPen 6, 6
teiddiais y tŷ hwn i fod fy enw yno hyd byth: 1 Bren. 9, 3
fy llygaid hefyd a'm calon fyddant yno yr holl
ddyddiau. vGen. 17, 1
17 v Ac os rhodi di the ger fy mron i fel y rhod- 1Bren. 2, 3
iodd Dafydd dy dâd, gan wneuthur yr hyn oll
a orchymynnais i ti: ac [o] chedwi fy neddfau, 2Bren. 20, 3

a'm barnedigaethau mau fi,
18 Yna y siccrhaf deyrn-gader dy frenhiniaeth
di, megis yr ammodais a Dafydd dy dad ti gan
ddywedyd, Ni thorrir ymmaith oddi wrthit [fel
na byddo] gwr yn arglwyddiaethu yn Israel.
w Lef.26, 14 19 [w] Ond os dychwelwch, ac [os] gwrthodwch
Pen 15, 2 fy neddfau, a'm gorchymynnion y rhai a roddais
Deut.28, 15 ger eich bron chwi: ac os rhodiwch, ac os gwa-
Rhuf.2,9 sanaethwch dduwiau dieithr, ac ymgrymmu
1 Bren 9, 6 iddynt hwy,
x 1Bren. 9, 7 20 [x] Yna mi ai diwreiddiaf hwynt o'm gwlad
Sal. 5, 5 yr hon a roddais iddynt hwy, a'r tŷ'r hwn a sanc-
teiddiais i'm henw a fwriaf ymmaith o'm gŵydd:
ac mi ai rhoddaf ef yn ddammeg, ac yn ddihareb
ym mysc yr holl bobloedd.
y Deut. 29, 24 21 [y] A'r tŷ ymma'r hwn sydd uchel a wna i
Ier.22,8, 9 bawb ar a êl heibio iddo synnu: fel y dyweder,
Pa ham y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn i'r wlâd
hon? ac i'r tŷ hwn?
z Galar.1 8, 18 a 3, 39 22 [z] Yna y dywedant, Am iddynt wrthod Ar-
glwydd Dduw eu tadau hwynt, yr hwn ai dug
Dan 9, 2 Mica 8,9 hwynt allan o wlâd yr Aipht, ac [am] iddynt
2Bren 17 18 ymaflyd mewn duwiau dieithr, ac ymgrymmu
Pen 15,2 a 36, 15 iddynt, ai gwasanaethu hwynt: am hynny y dug
* 1Bren. 9, 10 efe yr holl ddrwg ymma arnynt hwy.

1 Bren. 9, 11, 12

## PEN. VIII.

*Y dinasoedd y rhai a adeiladodd, ac a ennillodd Salomon. 12 ei aberthau, ai aur ef.*

AC * wedi yr ugain mlynedd [yn] y rhai'r
adailadodd Salomon dŷ'r Arglwydd, ai
dŷ ei hun.
2 Yna Salomon a adailadodd y dinasaoedd
y rhai a roddase Hiram i Salomon: ac a
wnaeth i feibion Israel drigo yno.
a Num.13 12 3 [a] A Salomon a aeth i Hemath Sobah: ac ai
1Sam.8,8 gorchfygodd hi.
* 1 Bren 9, 18, 19 4 *Ac efe a adailadodd Tadmor yn yr anial-
1Cron 18 3 wch: a'holl ddinasoedd y tryssorau y rhai
a adailadodd efe yn Hemath.
b 1Bren. 9, 17 5 [b] Efe hefyd a adailadodd Beth-horon uchaf,
a Beth-horon isaf: dinasoedd cedyrn o furiau,
pyrth, a barrau.
c 1 Bren 9, 18, 19 6 [c] Baalath hefyd, a holl ddinasoedd y trys-
sorau y rhai oeddynt gan Salomon, a holl ddin-
saoedd y cerbydau, a dinasoedd y marchogion:
a'r hyn oedd ewyllys gan Salomon a fynnodd
efe ei adailadu yn Ierusalem, ac yn Libanus,
ac yn holl dir ei arglwyddiaeth ef.
d Gen. 10 15, 16 7 [d] Yr holl bobl y rhai a adawyd o'r Hethiaid
a'r Amoriaid, a'r Phereziaid, a'r Hefiaid, a'r
Iebusiaid y rhai nid oeddynt o Israel:
e 1 Bren 5, 13, 14 8 [e] Oi meibion hwynt y rhai a drigasant ar eu
a 9, 21 hol hwynt yn y wlad, y rhai ni ddifethase meib-
ion Israel: Salomon ai gwnaeth hwynt yn dreth-
awl hyd y dydd hwn.
9 Ond o feibion Israel ni roddodd Salomon
[neb] yn weision yn ei waith ef: canys hwynt
[oeddynt] ryfel-ŵyr, a thywysogion ei gapten-
iaid ef, a thywysogion ei gerbydau, ai wŷr
meirch ef.
10 [f] Ac dymma dywysogion y swyddogion y f 1 Bren 9, 23
rhai [oeddynt] gan y brenin Salomon, [sef] dau
cant, a dec a deugain yn arglwyddiaethu ar
y bobl.
11 [g] Yna Salomon a ddug ferch Pharao i g 1 Bren 3, 1 a 7, 8
fynu o ddinas Dafydd i'r tŷ'r hwn a adailadase a 9, 24
efe iddi hi: canys efe a ddywedodd, Ni thrig
fyng-wraig i yn nhŷ Ddafydd brenin Israel, o
herwydd sanctaidd yw, o blegit i Arch yr Ar-
glwydd ddyfod i mewn iddo ef.
12 [h] Yna Salomon a offrymmodd boeth off- h 1 Bren 8, 59
rymmau i'r Arglwydd ar * allor yr Arglwydd,
yr hon a adailadase efe o flaen y porth,
13 [i] I boeth-offrymmu o ddydd i ddydd yn i 1Bren. 8 59
ol gorchymyn Moses, ar y Sabbothau, ac ar y Ecs 23, 14
newydd loerau, ac ar y gwyliau arbennic * Deut.16, 16
dair gwaith yn y flwyddyn: [sef] ar ŵyl y bara * 1 Cron 24, 1
croiw, ac ar ŵyl yr wythnosau, ac ar ŵyl y a 9, 17
pebyll. 1Bren. 8 59
14 Ac efe a osododd (yn ol trefn Dafydd ei Gen. 7, 8
dâd ef) ddosparthiadau'r offeiriaid yn eu gwa- Act 15, 22
sanaeth, a'r Lefiaid * yn eu gorchwyliaeth i fol- 2Sam. 23
iannu, ac i weini ger bron yr offeiriaid bob dydd 2
yn ei ddydd, a'r porthorion yn eu dosparthiad-
au wrth bob porth: canys felly ['r oedd] gorch-
ymyn Dafydd gŵr Duw.
15 [j] Ac ni throasant hwy oddi wrth orchymyn j Pen 26, 20
y brenin [yr hwn a roddwyd] i'r offeiriaid, a'r
Lefiaid am bob peth, ac am y tryssorau.
16 [k] A Salomon a baratodd yr holl waith er y k 1 Bren 9, 25
dydd y seliwyd ty'r Arglwydd nes ei orphen:
[felly] y diweddwyd tŷ'r Arglwydd.
17 [l] Yna'r aeth Salomon i Esion-geber, ac i l 1 Bren. 8, 26
Eloth ar fin y mor yng-wlad Edom. Deut. 2, 8
18 [m] A Hiram a anfonodd gyd ai weision 2 Bren. 22, 14
longau, a gweision cyfarwydd ar y mor, a hwy m 1 Bren 9, 27, 28
a aethant gyd a gweision Salomon i Ophir, ac a 1Bren. 9, 28
gymmerasant oddi yno bedwar cant a dec a
deugain talent o aur: ac ai dugasant [hwynt]
at y brenin Salomon.

## PEN. IX.

*Y frenhines Saba yn gofwyo, ac yn anrhegu Salomon. 12 haelioni, 13 cyfoeth, 10 ac oes Salomon.*

PAN glybu * brenhines Saba glod Salomon, * 1 Bren 10, 1
yna hi ddaeth i Ierusalem, i brofi Salo- Mat. 12, 42
mon mewn cwestiwnau caled a llu mawr iawn, Luc 11, 31
ac a chamelod yn dwyn aroglau, ac aur yn aml,
a meini gwerthfawr: a hi a ddaeth at Salomon,
ac a ddywedodd wrtho ef yr hyn oll oedd yn
ei chalon.
2 [n] A Salomon a fynegodd iddi hi ei holl n 1 Bren 10, 3
eiriau: ac nid oedd dim yn guddiedic rhac

Salomon, a'r na fynegodd efe iddi hi.
Col. 2.3 3 °Yna y canfu brenhines Saba ddoethineb
Diar. 8.14 Cor. 1, Salomon: a'r tŷ'r hwn a adailadase efe.
4 ᵖ A bwyd ei fwrdd ef, ac eisteddiad ei weis-
Mat. 12, ion ef, a threfn ei weinidogion ef, ai gwiscoedd
1 Bren. hwynt, ai drulliadau ef, ai gwiscoedd, ai boeth
0, 5 Dat 3,21 offrwm yr hwn a offrymmodd efe yn nhŷ'r Ar-
glwydd: ac nid oedd mwyach yspryd ynddi.
1 Bren. 5 ᵠ A hi a ddywedodd wrth y brenin, Gwir yw
0, 6 y gair yr hwn a glywais yn fyng-wlad: am dy
ymadroddion di, ac am dy ddoethineb.
1 Cor. 2, 6 ʳ Etto ni choeliais i'w geiriau hwynt nes i'm
Ioan. 3, ddyfod, ac i'm llygaid weled, ac wele ni fyneg-
, 2 asid i mi hanner helaethrwydd dy ddoethineb:
chwanegaist at y glod yr hon a glywais.
Sal. 84, 4 7 ˢ Gwynfyd dy wŷr di, a gwynfydedic [yw]
dy weision hyn: y rhai ydynt yn sefyll yn oest-
adol ger dy fron, ac yn clywed dy ddoethineb.
Esa. 6, 9 8 ᵗ Bendigedic fyddo'r Arglwydd dy Dduw
uel 31, di'r hwn a'th hoffodd di, gan dy osot ar ei or-
Cron. 29 seddfa yn frenin tros yr Arglwydd dy Dduw:
o herwydd cariad dy Dduw tu ag at Israel i'w
siccrhau yn dragywydd, am hynny y rhoddodd
[yr Arglwydd] dydi yn frenin arnynt hwy i
wneuthur barn, a chyfiawnder.
Ex. 25, 9 ᵘ A hi a roddodd i'r brenin chwech ugain
Bren 10 talent o aur, a phêr aroglau lawer iawn, a meini
gwerthfawr: ac ni bu fath bêr aroglau ymma,
y rhai a roddodd brenhines Saba i frenin
Salomon.
Bren. 10 *Gweision Hiram hefyd, a gweision Salo-
11 at, 12, mon y rhai a ddugasant aur o Ophir: a ddug-
asant goed Algumim, a meini gwerthfawr.
1. 1, 8 Bren. 11 ˣ A'r brenin a wnaeth o'r coed Algumim
12 anelion i dŷ'r Arglwydd, ac i dŷ'r brenin, a
thelynau, a nablau i'r cantorion: ac ni welsid
eu math hwynt o'r blaen yng-wlad Iuda.
1 Bren 12 ʷ A'r brenin Salomon a roddodd i frenhines
15 Saba ei holl ddymuniad yr hyn a ofynnodd hi,
heb law ['r hyn a roddodd efe am] yr hyn a
ddugase hi i'r brenin: felly hi a ddychwelodd,
ac a aeth iw gwlad, hi ai gweision.
13 A phwys yr aur yr hwn a ddaeth at Salo-
mon bob blwyddyn oedd chwe chant, a thri
ugain, a chwech o dalentau aur.
Sal. 66, 14 ˣ Heblaw ['r hyn] yr oedd y marchnadwŷr,
a72,10 r. 25, 22 a'r marsiand-wŷr yn eu ddwyn: a holl frenhin-
a 60,7 oedd Arabia, a thywysogion y wlad oeddynt
yn dwyn aur, ac arian i Salomon.
en 24, 15 ʸ A'r brenin Salomon a wnaeth ddau cant
tarian o aur dilin: chwe chant [sicl] o aur dilin
a roddodd efe ym mhob tarian.
Bren. 7 16 ᶻ A thry chant o helmau o aur dilin, try-
chant [sicl] o aur a roddodd efe ym mhob helm:
a'r brenin ai rhoddodd hwynt yn nhŷ y coed
Libanus.

17 A'r * brenin a wnaeth orseddfa fawr o *1 Bren. 10, 18
Ifori: ac ai goreurodd ag aur pur.
18 A chwech o risiau [oeddynt] i'r orseddfa, a
throed-le o aur yng-lyn wrth yr orseddfa, a
chanllawiau o bob tu i'r eistedd-le: a dau lew
yn sefyll wrth ymyl y canllawiau.
19 A deuddec o lewod yn sefyll yno ar y
chwe gris o bob tu: ni wnaethpwyd felly mewn
un deyrnas.
20 A holl lestri diod y brenin Salomon [oedd-
ynt] o aur, a holl lestri tŷ coed Libanus [oedd-
ynt] aur pur: nid oedd dim bri ar arian yn
nyddiau Salomon.
21 ᵃCanys llongau y brenin oeddynt yn myned a Ex. 30, 10
i Tharsis gyd a gweision Hiram: un waith yn y Ios. 3, 6
tair blynedd y deue llongau Tharsis yn dwyn 2 Bren 4, 35. a6, 10
aur, ac arian, ac Ifori, eppaod hefyd, a pheunod. Iob 33,14
22 ᵇA'r brenin Salomon a ragorodd ar holl fren- b 1 Tim. 6 15
hinoedd y ddaiar, mewn cyfoeth, a doethineb. Num. 24, 7
23ᶜ A holl frenhinoedd y ddaiar oeddynt yn ceis- Sal 89, 27
io [gweled] wyneb Salomon: i wrando eiddoeth- c Sal. 16, 11
ineb ef, yr hwn a roddase Duw yn ei galon ef. a 27, 4
24 A hwynt a ddugasant bob un ei anrheg, Can. 5, 10, 16
llestri arian, a llestri aur, a gwiscoedd, arfau a
pher-aroglau, meirch, a mulod bob blwyddyn.
25 ᵈ Ac yr oedd gan Salomon bedwar mil o
bresebau meirch, a cherbydau, a deuddeng- d 1 Bren. 10, 26
mil o wŷr meirch: ac ai cyfleuodd hwynt yn
ninasoedd y cerbydau, a chyd a'r brenin yn
Ierusalem.
26 ᵉ Ac yr oedd efe yn arglwyddiaethu ar yr e Dat. 19 12
holl frenhinoedd o'r afon [Euphrates] hyd 1 Tim. 6, 15
wlad y Philistiaid: ac hyd derfyn yr Aipht.
27 A'r brenin a roddodd yr arian yn Ieru- Dan. 7, 14 Sal. 72, 8
salem fel cerric: a'r cedr wŷdd a roddodd efe Gen. 31, 21
fel y ffigus-brennau gwylltion y rhai [ydynt] yn
aml mewn dol-dir.
28 *Ac yr oeddynt hwy yn dwyn meirch i * 1 Bren. 10, 28
Salomon o'r Aipht, ac o'r holl wledydd eraill. Pen 1, 16
29 A'r rhan arall o weithredoedd Salomon,
cyntaf a diwethaf: onid ydynt hwy yn scrifen-
nedic yng-eiriau Nathan y prophwyd, ac ym
mhrophwydoliaeth Ahia y Siloniad, ac yng-
weledigaethau Ido y gweledudd yn erbyn Iero-
boam mab Nabat?
30 A Salomon a deyrnasodd yn Ierusalem ar
holl Israel ddeugain mhlynedd:
31 ᶠ A Salomon a hunodd gyd ai dadau, a f 1 Cron. 10. 16
chladdasant ef yn ninas Dafydd ei dad; a a 12, 13
Rehoboam ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. a 13, 1, 7

## PEN. X.

*Y Cyngor yr hwn a ddilynodd Rehoboam yn peri iddo ef golli dec o ddeuddec llwyth Israel.*

YNA *Rehoboam a aeth i Sichem: canys i *Gen. 12, 6
Sichem y daethe holl Israel iw urddo ef 1 Bren 12 1
yn frenin.

g 1 Bren. 11, 40 1 Bren. 12, 3 — 2 [g] Pan glybu Ieroboam mab Nabat, (ac yntef yn yr Aipht lle y ffoase efe o ŵydd Salomon y brenin) yna Ieroboam a ddychwelodd o'r Aipht.

3 Canys hwynt a anfonasent, ac a alwasent am dano ef, ac Ieroboam a ddaeth a holl Israel: a hwy a ymddiddanasant a Rehoboam, gan ddywedyd,

h 1 Bren. 4, 7, 22 a 5, 18 a 9, 22 Pen 9, 30 1 Bre. 4, 15 a 10, 7 — 4 [h] Dy dad ti a wnaeth ein iau ni yn drom: yn awr gan hynny yscafnhâ [ni] o gaethiwed caled dy dâd, ac oi iau drom ef yr hon a roddodd efe arnom ni, ac ni a'th wasanaethwn di.

i 1 Bren. 12, 5 Sal. 112, 5 — 5 [i] Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, [Ewch] etto dridiau, yna dychwelwch attafi: a'r bobl a aethant.

6 A'r brenin Rehoboam a ymgynghorodd a'r henuriaid (y rhai a fuasent yn sefyll o flaen Salomon ei dad ef pan ydoedd efe yn fyw,) gan ddywedyd, Pa fodd yr ydych chwi yn cynghori atteb i ymadrodd y bobl hynn?

j Neh. 5, 19 Sal. 86, 17 1 Bren. 12, 7 — 7 [j] A hwynt a lefarasant wrtho ef gan ddywedyd, Os byddi yn dda i'r bobl ymma, os boddloni di hwynt, ac [os] dywedi wrthynt eiriau têg: yna byddant yn weision i ti byth.

k 1 Bren. 14, 21 Pen 12, 13 — 8 [k] Ond efe a wrthododd gyngor yr Henuriaid, yr hwn a gyngorasent hwy iddo: ac efe a ymgyngborodd a'r bechgyn y rhai a gynnyddasent gyd ag ef, a'r rhai oeddynt yn sefyll ger ei fron ef.

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Beth yr ydych chwi yn ei gyghori, fel yr attebom [i] ymadrodd y bobl hyn y rhai a lefarasant wrthif, gan ddywedyd, Yscafnhâ [ni] o'r iau'r hon a osododd dy dad ti arnom.

l 1 Bren. 10, 12 — 10 [l] Yna y bechgyn y rhai a gynnyddasent gyd ag ef a lefarasant wrtho, gan ddywedyd, Fel hyn y dywedi wrth y bobl y rhai a lefarasant wrthit gan ddywedyd, Dy dad ti a wnaeth ein hiau ni yn drom, yscafnhâ dithe [hi] oddi arnom ni: fel hyn y dywedi wrthynt, Fy [mys] bach [sydd] ffyrfach na lwynau fy nhad.

11 Ac yn awr fy nhad a'ch llwythodd chwi ag iau drom, minnef hefyd a chwanegaf ar eich iau chwi: fy nhad i a'ch ceryddodd chwi a gwielyn, a minnef [a'ch ceryddaf] a ffrewyllau.

12 Yna y daeth Ieroboam, a'r holl bobl at Rehoboam y trydydd dydd: fel y llefarase y brenin gan ddywedyd, Dychwelwch attafi y trydydd dydd.

13 A'r brenin ai hattebodd hwynt yn galed: (canys y brenin Rehoboam a wrthododd gyngor yr henuriaid.)

m Preg. 10, 16 Esa 3, 2, 3 1 Bren. 14, 21 Pen 13, 7 34, 1 — 14 [m] Ac efe a lefarodd wrthynt yn ol cyngor y bechgyn gan ddywedyd, Fy nhad i a drwmhaodd eich iau chwi, a minne a chwanegaf arni hi: fy nhad i a'ch ceryddodd chwi a gwielyn, a minne [a'ch ceryddaf chwi] a ffrewyllau.

15 [n] Ac ni wrandawodd y brenin ar y bobl: o herwydd yr achos oedd oddi wrth Dduw, fel y cwplâe'r Arglwydd ei air yr hwn a lefarase efe drwy law Ahia y Siloniad wrth Ieroboam fab Nabat.

16 Pan * [welodd] holl Israel na wrandawe y brenin arnynt hwy, yna y bobl a attebasant y brenin gan ddywedyd, Pa rann [sydd] i ni yn Dafydd? Nid [oes] ychwaith [i ni] etifeddiaeth ym mab Isai: O Israel [aed] pawb iw pebyll, edrych yn awr [ar] dy dŷ dy hun Dafydd: felly holl Israel a aethant iw pabellau.

17 Felly [ar] feibion Israel y rhai oeddynt yn presswylio yn ninasoedd Iuda, yn unic y teyrnasodd Rehoboam.

18 [o] A'r brenin Rehoboam a anfonodd Adoram yr hwn [oedd] ar y drêth, a meibion Israel ai llabyddiasant ef a meini fel y bu efe farw: yna y brenin Rehoboam a ymegniodd i fyned i fynu mewn cerbyd i ffoi i Ierusalem.

19 [p] Felly Israel a wrthryfelasant yn erbyn tŷ Ddafydd hyd y dydd hwn.

## PEN. XI.

*Duw yn gwahardd i Rehoboam ryfela yn erbyn Ieroboam. 5. Dinasoedd, gwragedd, a phlant Rehoboam.*

PAN * ddaeth Rehoboam i Ierusalem, yna efe a gasclodd o holl dŷ Iuda, ac o Beniamin gant, a phedwar ugain mil [o wŷr] dewisol cymmwys i ryfel: i ymladd ag Israel, [ac] i ddwyn trachefn y frenhiniaeth i Rehoboam.

2 [q] Ond gair yr Arglwydd a ddaeth at Semaiah gŵr Duw gan ddywedyd,

3 [r] Dywet wrth Rehoboam fab Salomon brenin Iuda: ac wrth holl Israel o fewn Iuda a Beniamin, gan ddywedyd,

4 [s] Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Nac ewch i fynu, ac nac ymleddwch yn erbyn eich brodyr, dychwelwch bob un iw dŷ ei hun, canys drwof fi y gwnaethpwyd y peth hyn: a hwynt a wrandawsant ar eiriau'r Arglwydd, ac a ddychwelasant heb fyned yn erbyn Ieroboam.

5 [t] A Rehoboam a drigodd yn Ierusalem: ac a adeiladodd ddinasoedd cedyrn yn Iuda.

6 [u] Ac efe a adeiladodd Bethlehem, ac Etam, a Thecoa.

7 Bethzur hefyd, a Socho, ac Adulam.

8 Gath hefyd, a Maresa, a Ziph.

9 [w] Adoraim hefyd, a Lachis, ac Azecah.

10 [x] Zorah hefyd, ac Aialon, a Hebron y rhai [oeddynt] yn Iuda, ac yn Beniamin: dinasoedd caeroc.

11 Ac efe a gadarnhaodd yr amddiffynfaoedd, ac a osododd flaenoriaid ynddynt hwy, a chellau bwyd, ac olew, a gwin.

12 Ac ym mhob dinas [y gosododd efe] darianau, a gwaiw-ffyn, ac ai cadarnhaodd hwynt

yn gadarn iawn: ac eiddo ef oedd Iuda, a Ben-
iamin.
13 A'r offeiriaid, a'r Lefiaid y rhai [oeddynt]
yn holl Israel a safasant wrtho ef oi holl der-
fynau.
y Pen 13, 9 Dat. 13, 10 14 y Canys y Lefiaid a wrthodasant eu mei-
sydd pentrefol, ai meddiant, ac a aethant i Iuda,
ac i Ierusalem: canys Ieroboam ai feibion a
bwriase hwynt ymmaith o fod yn offeiriaid i'r
Arglwydd.
z Amos 7, 10 15 z Ac efe a osododd iddo ef offeiriaid i'r
uchelfeudd, ac i'r cythreuliaid: ac i'r lloi y
rhai a wnaethe efe.
a Can 1, 8 Sal. 69, 33 16 a Ac ar eu hol hwynt [rhai] o holl lwythau
Israel (y rhai oeddynt yn rhoddi eu calon i gei-
sio Arglwydd Dduw Israel) a ddaethant i Ieru-
salem i aberthu i Arglwydd Dduw eu tadau.
b Pen 12, 1 17 b Felly hwynt a gadarnhausant frenhin-
1 Bren. 15, 6 iaeth Iuda, ac a nerthasant Rehoboam fab Sa-
Pen 1, 1 lomon dros dair blynedd: canys hwy a rodias-
ant yn ffordd Dafydd, a Salomon, yng-hyfnod
tair blynedd.
18 A Rehoboam a gymmerth Mahalath ferch
Ierimoth fab Dafydd yn wraig iddo: [ac] Abi-
hail ferch Eliab fab Isai.
19 A hi a ymddug iddo ef feibion: sef Ieus, a
Semaria, a Zaham.
c 1 Bren 15, 2 20 c Ac ar ei hôl hi efe a gymmerth Maacha
ferch Absalom: a hi a ymddug iddo ef Abiiah,
ac Atthai, a Zirza, a Selomith.
d Gen. 22, 24 21 d A Rehoboam a garodd Maacha ferch Ab-
1 Bren. 11, 3 salom yn fwy nai holl wragedd, ai ordderch-
wragedd, canys deu-naw o wragedd a gym-
merth efe, a thri ugain o ordderchadon: ac efe
a genhedlodd wyth ar hugain o feibion, a thri
ugain o ferched.
e Deut 21, 15, 16 22 e A Rehoboam a osododd Abiiah fab Maa-
cha yn benn blaenor ar ei frodyr: canys [yr oedd
yn ei fryd ef] ei urddo ef yn frenin.
f Gen. 25, 6 23 f Ac efe a fu gall, ac a wascarodd [rai] oi
Diar. 18, 19 feibion i holl wledydd Iuda, a Beniamin, ac i'r
Pen 21, 3 holl ddinasoedd caeroc, ac a roddes iddynt bwy-
lyniaeth yn aml: ond efe a geisiodd liaws o
wragedd.

## PEN. XII.

*Sesac (am i Rehoboam bechu yn erbyn Duw) yn cael ei ddrygu ef.*

g Pen 11, 17 Deut. 32, 15 Diar. 2, 1 Esa. 29, 12 2 Tim 4, 10 Ier. 21, 13 Mat. 2, 3 1 Bren 12, 17 A g PHAN siccrhaodd Rehoboam y fren-
hiniaeth, ai chadarnhau, efe a wrthododd
gyfraith yr Arglwydd: a holl bobl Israel gyd
ag ef
h Barn. 2, 13 2 h Ac yn y bummed flwyddyn i'r brenin Re-
hoboam y daeth Sesac brenin yr Aipht i fynu
yn erbyn Ierusalem: (canys hwy a wrthryfel-
asant yn erbyn yr Arglwydd,)
3 i A mil a dau cant o gerbydau, a thri ugain- i 1 Cron. 18, 4
mil o wŷr meirch, ac nid [oedd] nifer ar y bobl Neh. 3, 9
y rhai a ddaethant gyd ag ef o'r Aipht [sef] y
Lybiaid, y Succiaid, a'r Ethiopiaid.
4 j Ac efe a ennillodd y dinasoedd caeroc y j Jer. 5, 10
rhai [oeddynt] yn Iuda: ac a ddaeth hyd Ieru-
salem.
5 k Yna Semaiah y prophwyd a ddaeth at Re- k Pen. 15, 2
hoboam, a thywysogion Iuda y rhai oeddynt
wedi ymgasclu yn Ierusalem rhac ofn Sesac:
ac efe a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywed-
odd yr Arglwydd, Chwi a'm gwrthodasoch i, am
hynny myfi a'ch gadawaf chwi yn llaw Sesac.
6 l Yna tywysogion Israel a ymostyngasant, l Sal. 78, 34
ac a ddywedasant, Cyfiawn yw'r Arglwydd. Esa. 59, 8
7 m Pan welodd yr Arglwydd iddynt hwy m 1 Bren 21, 29
ymostwng, daeth gair yr Arglwydd at Semaiah Deut. 28, 6
gan ddywedyd, Hwynt a ymostyngasant [am Ier. 52, 1, 2
hynny] ni ddifethaf hwynt: onid rhoddaf iddynt
ymwared ar fyrder, ac ni ddifera fy llid yn er-
byn Ierusalem drwy law Sesac.
8 n Etto byddant yn weision iddo ef: fel yr n Deut. 28. 48
adnabyddant fyng-haethiwed mau fi, a chaeth- Esa. 26, 13
iwed brenhinoedd y ddaiar.
9 o Yna * Sesac brenin yr Aipht a ddaeth i o 1 Bren. 13. 24, 28
fynu yn erbyn Ierusalem, ac a gymmerth drys- * Pen 9, 15
sorau tŷ'r Arglwydd, a thrysorau tŷ y brenin, 1 Bren. 14, 27
ac ai dûg hwynt ymmaith oll: dûg ymmaith y
tariannau aur y rhai a wnaeth Salomon.
10 A'r brenin Rehoboam a wnaeth yn eu llê
hwynt dariannau prês: ac ai rhoddodd [hwynt]
i gadw tan law tywysogion y rhedegwŷr y
rhai oeddynt yn cadw drws tŷ y brenin.
11 A phan ele'r brenin i dŷ'r Arglwydd: y
rhedeg-wŷr a ddeuent, ac ai dygent hwy, ac ai
dygent trachefn i stafell y rhedeg-wŷr.
12 p Am hynny pann ymostyngodd efe, llid p Hos. 11, 2
yr Arglwydd a ddychwelodd oddi wrtho ef fel Gen. 7, 1
nas dinistrie yn hollawl: ac felly y bu [pob] Rhuf. 12, 2
peth yn dda yn Iuda.
13 q Felly y brenin Rehoboam a ymgryfhaodd q 1 Bren. 8, 29
yn Ierusalem, ac a deyrnasodd: a mab un
mlwydd a deugain [oedd] Rehoboam pan ddech-
reuodd efe deyrnasu, a dwy flynedd ar bym-
thec y teyrnasodd efe yn Ierusalem, (y ddinas
yr hon a ddewisase'r Arglwydd i osod ei enw
ef ynddi o holl lwythau Israel) ac enw ei fam ef
[oedd] Naamah yr Ammonites.
14 r Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg: r Sal. 10, 17
canys ni ddarparodd efe ei galon i geisio'r Ar- Diar. 16, 1
glwydd. Mat. 7. 18
15 s Am y gweithredoedd cyntaf a diwethaf i Ier. 31, 13 Pen 11, 16
Rehoboam, onid ydynt hwy yn scrifennedic a 29, 3 s 1 Bren. 12, 22
yng-eiriau Semaiah y prophwyd, ac Ido y Pen 9, 29

PEN. XI. adn. 17.] * "Ffordd Dafydd a Salomon." Fe gaeglir wrth y gammotraeth [illegible] farw o Salomon yn heddwch Duw, 1 reg. 7, 27. Ecc. 13, [illegible] Ier 1, 21.

gweledydd yn yr achau: a [bu] rhyfeloedd
[rhwng] Rehoboam ac Ieroboam yr holl ddy-
ddiau.
t1Bren 2 10 1 Bren. 15, 1 16 [t] A Rehoboam a hunodd gyd ai dadau, ac
a gladdwyd yn ninas Dafydd: ac Abiiah ei fab
ef a deyrnasodd yn ei lê ef.

## PEN. XIII.

*Abia yn Rhyfela yn erbyn Ieroboam, ac yn ei orchfygu ef.*

AC yn y ddeu nawfed flwyddyn i'r brenin
Ieroboam, y dechreuodd Abiiah deyrn-
asu ar Iuda.
uPen 11. 20 Barn. 20, 5 2 [u] Tair blynedd y teyrnasodd efe yn Ierusa-
lem, ac enw ei fam ef [oedd] Michaiahu merch
Uriel o Gibea: a bu ryfel rhwng Abiiah ac Ie-
roboam.
vPen 14, 9. a 17, 14 3 [v] Ac Abiiah a gydiodd y rhyfel a llu o ry-
fel wŷr cedyrn [sef] pedwar cant mil o wŷr
etholedig: ac Ieroboam a luniaethodd yn ei
erbyn ef ryfel, ag wŷth gant mil o wŷr ethol-
edig, cedyrn nerthol.
w Rhuf. 12, 18 Sal. 120, 7 Ios. 18, 20 4 [w] Ac Abiiah a gyfododd oddi ar fynydd
Zemaraim yr hwn [sydd] ym mynydd Ephraim:
ac a ddywedodd, O Ieroboam, a holl Israel
gwrandewch fi.
x2Sam. 7 12, 13, 16 Num. 18, 19 Ezec. 43, 24 5 [x] Oni [pherthyn] i chwi wybod mai Ar-
glwydd Dduw Israel a roddodd y frenhiniaeth
i Ddafydd ar Israel yn dragywydd: iddo ef ac
i'w feibion drwy gyfammod hâlen?
6 Etto Ieroboam mab Nabat gwâs Salomon
*1 Bren. 11, 26 a 12, 16 fab Dafydd a gyfododd, ac * a wrthryfelodd yn
erbyn ei arglwydd.
yBarn. 9, 4 Deut. 13, 13 Pen. 12, 13 Preg. 10, 16 1 Cor. 14, 20 7 [y] Ac ofer ddynion [sef] meibion y fall a ym-
gasclasant atto ef, ac a ymgadarnhasant yn
erbyn Rehoboam mab Salomon: a Rehoboam
oedd fachgen, a gwann ei galon, ac nid ym-
gadarnhaodd efe iw herbyn hwynt.
Esa. 3, 4 Eph. 4, 14 z1Sam. 4, 3, 5 1Bren. 12 28 8 [z] Ac yn awr yr ydych yn meddwl i chwi
ymgadarnhau yn erbyn brenhiniaeth yr Ar-
glwydd [yr hon sydd] yn llaw meibion Dafydd:
am eich bod yn dyrfa fawr, a [bod] gyd a chwi
y lloi aur y rhai a wnaeth Ieroboam yn dduw-
iau i chwi.
aPen. 11, 14 1Bren 13 33 Mica 6, 7 Mat. 7, 4 Ex. 29, 15 Num. 23, 1 9 [a] Oni yrrasoch ymmaith offeiriaid yr Ar-
glwydd, sef meibion Aaron, a'r Lefiaid? ac oni
wnaethoch i chwi offeiriaid fel pobl y gwledydd
eraill? pwy bynnac sydd yn dyfod iw gyssegru,
a bustach ieuangc, ac a saith o hyrddod, hwn-
nw fydd yn offeiriad i'r [rhai] nid [ydynt]
dduwiau.
bRhuf. 8, 31 1Bren 15, 3 10 [b] Ninnau [ydym eiddo] 'r Arglwydd ein
Duw, ac nis gwrthodasom ef: a'r offeiriaid y
rhai ydynt yn gwasanaethu'r Arglwydd [yw]
meibion Aaron, a'r Lefiaid [ydynt] yn [en]
gorchwyl.
cPen 2, 4 11 [c] Ac y maent hwy yn llosci i'r Arglwydd
boeth offrymmau bob boreu, a phob hwyr, ac
arogl-darth arogl-bêr, ac [yn cadw] trefn y bara
[gosod] ar y bwrdd pur, a'r canhwyll-bren aur
ai luseruau i losci bob prynhawn, canys yr
ydym ni yn cadw gorchwyliaeth yr Arglwydd
ein Duw: ond chwi ai gwrthodasoch ef.
12 [d] Ac wele y Duw hwn [sydd] yn bennaf d Deut. 20, 9 Num. 10, 9
gyd a ni, ai offeiriaid ef, ac udcyrn soniarus i
udcanu yn eich erbyn chwi: O feibion Israel
nac ymleddwch yn erbyn Arglwydd Dduw eich
tadau, canys ni lwyddwch chwi.
13 [e] Ond Ieroboam a barodd osod cynllwyn o eDiar. 21 30 Ios. 8, 4
amgylch, a dyfod oi hol hwynt: felly ['r Israel-
iaid] oeddynt o flaen Iuda, ar cynllwyn o'r tu ol
iddynt hwy.
14 [f] Yna [meibion] Iuda a edrychasant, ac f1 Bren. 22, 32
wele ryfel iddynt ym mlaen, ac yn ol, a hwynt a
waeddasant ar yr Arglwydd: a'r offeiriaid a
leisiasant mewn udcyrn.
15 [g] A gwŷr Iuda a floeddiasant: a phan gPen 14, 12
waeddodd gwŷr Iuda, yna Duw a darawodd
Ieroboam, a holl Israel o flaen Abiiah ac Iuda.
16 [h] A meibion Israel a ffoasant o flaen Iuda: hSal. 5, 8
a Duw ai rhoddodd hwynt iw llaw hwynt.
17 [i] Ac Abiiah ai bobl ai tarawsant hwy a iSal. 33, 16
phlâ mawr: fel y syrthiodd yn archolledic o Is-
rael bump cant mil o wŷr etholedig.
18 [j] Felly y darostyngwyd meibion Israel y jSal. 106, 42
pryd hynny: a meibion Iuda a gryfasant, o Barn. 8, 28
herwydd pwyso o honynt hwy ar Arglwydd 1Cron. 5, 20
Dduw eu tadau. Sal. 91, 2, 3
19 [k] Ac Abiiah a erlidiodd ar ol Ieroboam, ac k1Bren. 12, 29
a ddug oddi arno ef ddinasoedd, sef Bethel ai Gen. 12, 8
phentrefydd, ac Iesanah ai phen-trefydd, ac
Ephron ai phen-trefydd.
20 [l] Ac ni ennillodd Ieroboam [ei] nerth mwy- l1Sam 25 38
ach yn nyddiau Abiiah: ond yr Arglwydd ai Ezec 24, 16
tarawodd ef fel y bu efe farw.
21 [m] Ond Abiiah a ymgadarnhaodd, ac a m2Sam. 3, 2
gymmerth iddo bedair ar ddêc o wragedd: ac
a genhedlodd ddau fab ar hugain, ac un ar
bymthec o ferched.
22 A'r rhan arall o hanes Abiiah, ai ffyrdd ef,
ai eiriau: y maent yn scrifennedic yn llyfr y
prophwyd Ido.

## PEN. XIV.

*Duwiol lywodraeth Asa.*

FELLY [n] Abiiah a hunodd gyd ai dadau, n1 Bren. 2, 10 1Bren. 15 16
a chladdasant ef yn ninas Dafydd, ac Asa
ei fab a deyrnasodd yn ei le ef: yn ei ddyddiau o1Bren. 11, 33 a 15, 11
ef y cafodd y wlad lonydd ddeng-mlynedd. Pen. 25, 2 a 26, 4
2 [o] Ac Asa a wnaeth yr hyn oedd ddâ, ac union pDeut. 7 3
yng-olwg yr Arglwydd ei Dduw.
3 [p] Canys efe a fwriodd ymmaith alloran y Lef. 26, 30
[duwiau] dieithr, a'r uchelfeudd: dryllodd 1Bren 15 14
hefyd y delwau, a thorrodd y llwynau. qIos. 22, 5
4 [q] Ac a ddywedodd wrth Iuda am geisio Pen 32, 21

Arglwydd Dduw eu tadau; ac am wneuthur
cyfraith, a gorchymyn [Duw.]
r Ios 7,26 5 r Ac efe a fwriodd ymmaith o holl ddinas-
oedd Iuda yr uchelfeudd, a'r delwau; am hyn-
ny y cafodd y frenhiniaeth lonydd oi flaen ef.
s Sal. 127, 6 s Ac efe a adailadodd ddinasoedd caeroc
yn Iuda; am gael o'r wlâd lonydd fel nad
[oedd] rhyfel yn ei erbyn ef yn y blynyddoedd
hynny, o blegit yr Arglwydd a roddase lonydd-
wch iddo ef.
7 Ac efe a ddywedodd wrth Iuda, Adailadwn
y dinasoedd hyn, ac amgylchwn [hwynt] a mur,
ac a thyrau, a dryssau, ac a barrau tra [fyddo]
y wlâd hon o'n blaen ni, o herwydd ni a geisias-
om yr Arglwydd ein Duw ni, ac efe a roddodd
lonyddwch i ni o amgylch; felly hwynt a ad-
ailadasant, ac a lwyddasant.
Cro. 5, 8 t Ac yr oedd gan Asa lû o Iuda yn dwyn
8, 40 tariannau a gwaiw-ffyn [sef] try chant mil, ac o
Beniamin dau cant a phedwar ugain-mil yn
dwyn tariannau, ac yn tynnu bŵa; y rhai hyn
oll [oeddynt wŷr] cedyrn nerthol.
Sal. 33, 9 u A Zerah yr Ethiopiad a aeth allan yn eu
at.16,14 herbyn hwynt a llu o fil o filoedd, ac thry chant
sa. 8, 9, o gerbydau; ac efe a ddaeth hyd Maresa.
s. 15,44 Sam.1, 10 x Yna Asa a aeth allan yn ei erbyn ef, a
hwynt a luniaethasant ryfel yn nyffryn Sephata
wrth Maresa.
Pen 13, 11 w Ac Asa a waeddodd ar yr Arglwydd ei
c.14,15 Dduw, ac a ddywedodd, O Arglwydd * nid
Sam.14 [rhaid] i ti wrth lawer i gynnorthwyo [yr hwn]
1.62,11 ni [byddo] ganddo gryfdwr, cynnorthwya di ni
ar. 18, O Arglwydd ein Duw ni, canys pwyso'r ydym
am. 17, ni arnat ti, ac yn dy enw di y daethom yn
1. 22,4 erbyn y dorf honn; O Arglwydd ei Duw ni
t. 9, 4 c. 2, 8 ydwyt ti, na orchfyged dŷn i'th erbyn.
en 13, 12 x Felly'r Arglwydd a darawodd yr Ethi-
opiaid o flaen Asa, ac o flaen Iuda; a'r Ethi-
opiaid a ffoasant.
en.20, 13 y Ac Asa, a'r bobl y rhai [oeddynt] gyd ag
ef ai herlidiodd hwynt hyd Gerar, a syrthiodd
[llawer] o'r Ethiopiaid heb fywyd ynddynt,
canys drylliasyd hwynt o flaen yr Arglwydd,
ac o flaen ei wersyll ef; a hwy a ddugasant
ymmaith anrhaith fawr iawn.
en.35, 14 z A tharawsant yr holl ddinasoedd o am-
gylch Gerar, canys yr oedd dychryn yr Ar-
glwydd arnynt hwy; a hwynt a anrhaithiasant
yr holl ddinasoedd, canys anrhaith fawr oedd
ynddynt.
Cron.4 15 a Lluestai hefyd yr anifeiliaid a darawsant
n 20, hwy, a chaeth-gludasant lawer o ddefaid, a
chamelod; a dychwelasant i Ierusalem.

## PEN. XV.

*Asa wrth Gyngor Azaria yn delu gau-dduwiaeth. 14 yn peri i'r bobl wneuthur cyngrair a'r Arglwydd. 16 ac yn diswyddo ei fam am ei gau-dduwiaeth.*

YNA b yspryd Duw a ddaeth ar Azaria fab b 2 Pedr 1, 21
Obed.
2 c Ac efe a aeth allan o flaen Asa, ac a ddyw- c Pen 14, 31
edodd wrtho ef, O Asa, a holl Iuda, a Benia- Deut 20, 1
min gwrandewch fi; yr Arglwydd [sydd] gyd Ier. 29.13
a chwi tra fyddoch gyd ag ef, ac os ceisiwch ef, Esa. 55,6 Pen 19, 2
chwi ai cewch ef, ac os gwrthodwch ef, yntef Sal. 71, 9
a'ch gwrthryd chwithen.
3 d Dyddiau lawer [fuant] i Israel heb y d Pen 12, 13
gwir Dduw, ac heb offeiriaid yn ddyscawdur,
ac heb gyfraith.
4 Pan ddychwelodd [neb] yn ei gyfyngdra at
Arglwydd Dduw Israel, ai geisio ef, yna
hwynt ai cawsant ef
5 e Ac yn yr amseroedd hynny nid [oedd] e Pen 13, 17
heddwch i'r hwn oedd yn myned allan, ac yn 1Bren.14
dyfod i mewn: ond blinder lawer ym mysc 10, 11 a 15, 27
holl bresswyl-wŷr y ddaiar. a 19 8, 15
6 f Canys cenedl a ddinistriwyd gan genedl, f Pen 12, 15 a 13,17
a dinas gan ddinas; o blegit yr Arglwydd ai 1Bren.16 21
poenodd hwynt a phob aflwydd.
7 g Cryfhewch gan hynny, ac na laesed eich g 1Cor.16 13
dwylo; canys y mae gwobr i'ch gwaith chwi. 1Cor. 15, 58
8 h Pan glybu Asa y geiriau hyn, a phro- Heb.6 10
phwydoliaeth Obed y prophwyd, yna efe a Sal. 58,7
gryfhaodd, ac a fwriodd ymmaith y ffiaidd h Pen 13, 19
[eulynnod] o holl wlâd Iuda, a Beniamin, ac o'r 1Bren.8, 22
holl ddinasoedd y rhai a ennillase efe o fynydd 1Bren.6, 3
Ephraim; ac efe a adnewyddodd allor yr Ar-
glwydd yr hon [oedd] o flaen porth yr
Arglwydd.
9 i Ac efe a gynhullodd holl Iuda, a Benia- i Sal. 54.3
min, a'r dieithriaid gyd a hwynt o Ephraim, a Pen 30 25
Manasses, ac o Simeon: canys hwy a syrthias-
ant atto ef yn aml o Israel, pan welsant fod yr
Arglwydd ei Dduw gyd ag ef.
10 j Felly hwynt a ymgynnullasant i Ierusa- j Ester 8,9
lem yn y trydydd mis: yn y bymthecfed flwy-
ddyn o deyrnasiad Asa.
11 k A hwynt a aberthasant i'r Arglwydd y k Pen 14 13
dwthwn hwnnw o'r anrhaith [yr hon] a ddug-
asent, saith gant o eidionnau, a saith mil o
ddefaid.
12 l A hwynt a ddaethant dann gyfammod i l Gen. 15, 13
geisio Arglwydd Dduw eu tadau, ai holl galon,
ac ai holl enaid.
13 m A phwy bynnac ni cheisie Arglwydd m Deu.13 9
Dduw Israel, efe a roddid i farwolaeth: yn n Deu.10, 17
fychan, [ac] yn fawr, yn ŵr, [ac] yn wraig.
14 o A hwynt a dyngasant i'r Arglwydd a llef uch- o Neh.10, 29
el, ac a bloedd; ag udcyrn hefyd, ac a thrwmpêdau.
15 p A holl Iuda a lawenychasant o herwydd p 1Bre.2, 4
y llŵ, canys ai holl galon y tyngasent, ac ai holl
ewyllys y ceisiasant ef, a hwynt ai cawsant ef;
a'r Arglwydd a roddodd lonyddwch iddynt
hwy o amgylch.

16 A'r brenin Asa a symmudodd Maacha ei fam o [fod] yn dywysoges, o herwydd gwneuthur o honi hi ddelw mewn llwyn; ac Asa a dorodd ei delw hi, ac ai drylliodd, ac ai lloscodd wrth afon Cedron.

q Pen 13, 19 a 14, 5 a 17, 2 — 17 q Ond nid yscogwyd yr uchelfeudd o Israel er bod calon Asa yn berffaith ei holl ddyddiau ef.

18 Ac efe a ddûg i mewn i dŷ'r Arglwydd yr hyn a gyssegrase ei dâd ef, a'r hyn a gyssegrase efe ei hun yn aur, ac yn arian, ac yn lestri.

r Pen 12, 15 a 13, 2 a 16, 1 — 19 r Ac ni bu rhyfel hyd y bymthecfed flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Asa.

## PEN. XVI.

*Hanani yn ceryddu Asa am y cyfammod yr hwn a wnaethe efe a brenin Syria.*

s 1 Bren. 15, 33 Pen 11, 5 Ex. 5, 2 Pen. 15, 2 — YN s yr unfed flwyddyn ar bymthec ar hugain o deyrnasiad Asa y daeth Baasa brenin Israel i fynu yn erbyn Iuda, ac a adailadodd Ramah; fel nad adawe efe [i neb] fyned, na dyfod at Asa brenin Iuda.

t Pen 14, 11 — 2 t Yna Asa a ddûg allan arian, ac aur o dryssorau tŷ'r Arglwydd, a thŷ'r brenin; ac ai hanfonodd at Benhadad brenin Syria, yr hwn oedd yn trigo yn Damascus gan ddwedyd,

3 Cyfamod [sydd] rhyngofi a thi, a rhwng fy nhâd i a'th dâd tithe; wele anfonais atat ti arian, ac aur, dos, torr dy gyfammod a Baasa brenin Israel fel y cilio efe oddi wrthifi.

u 1 Bren. 15, 20 1 Bren. 9, 19 * 1 Bren. 15, 22 — 4 u Felly Benhadad a wrandawodd ar y brenin Asa, ac a anfonodd dywysogion y lluoedd y rhai [oeddynt] ganddo ef yn erbyn dinasoedd Israel, a hwy a darawsant Hion, a Dan, a Abel-maim; a holl dryssorau dinasoedd Nephthali.

5 A phan glybu Baasa [hynny,] yna efe a beidiodd ac adailadu Ramah; canys [Asa] a luddiodd ei waith ef.

6 *Yna Asa'r brenin a gymmerth holl Iuda, ac a gludasant gerrig Ramah, ai choed y rhai a adailadase Baasa; ac a adailadodd a hwynt Gibea, a Mispah.

v Pen 9, 29 Esa. 31, 1 Ier. 17, 5 — 7 v Y pryd hynny y daeth Hanani y gweledudd at Asa frenin Iuda; ac a ddywedodd wrtho ef, Gan i ti bwyso ar frenin Syria, ac na phwysaist ar yr Arglwydd dy Dduw, am hynny y diangodd llu brenin Syria o'th law di.

w Pen 14, 9 x Diar 15, 3 Zec 4, 10 Sal 113, 6 Sal. 16, 25, 26 a 32, 7 Ezec 2, 5 Esa. 3, 15 2 Sam. 12, 7 Mat. 14, 4 — 8 w Onid oedd yr Ethiopiaid, a'r Lybiaid yn llu ddirfawr, a cherbydau, ac a gwŷr meirch yn aml iawn? ond am it bwyso ar yr Arglwydd efe ai rhoddodd hwynt yn dy law di?

9 x Canys y mae llygaid yr Arglwydd yn edrych ar yr holl ddaiar i ymegnio gyd [a'r rhai ydynt] ai calon yn berffaith tu ag atto ef, ynfyd y gwnaethost yn hyn; canys rhyfeloedd bellach fyddant i'th erbyn.

y Sal. 10, 5 Pen 25, Ier. 20, a 29, 26 Pen 9, 22 a 10, 33 2 Sam. 11, 4 — 10 y Yna y digiodd Asa wrth y gweledudd, ac ai rhoddodd ef mewn carchar-dŷ, canys [yr oedd efe] yn ddigllon wrtho ef am y peth hyn; ac Asa a orthrymmodd [rai] o'r bobl y pryd hynny.

11 Ac wele weithredoedd Asa y rhai cyntaf, a'r rhai diweddaf: ïe wele hwynt yr scrifennedic yn llyfr brenhinoedd Iuda, ac Israel.

z 1 Cron. 10, 14 — 12 z Ac Asa a glafychodd oi draed yn y bedweredd flwyddyn ar bymthec ar hugain oi deyrnasiad, nes iw glefyd [ddolurio] yn ddirfawr; etto ni cheisiodd efe yr Arglwydd yn ei glefyd, onid y meddygon.

13 Felly Asa a hunodd gyd ai dadau; ac a fu farw yn yr unfed flwyddyn a deugain oi deyrnasiad ef.

a Gen 50, 2 Marc 16, 1 Ier. 34, 5 — 14 a A chladdasant ef yn ei feddrod yr hwn a wnaethe efe iddo yn ninas Dafydd, a rhoddasant ef i orwedd mewn gwely'r hwn a lawnase efe a phêr aroglau o amryw rywogaethau wedi eu gwneuthur drwy waith apothecari, a hwy a gynneuasant iddo ef gynneu mawr iawn.

## PEN. XVII.

*Duwiol a llwyddiannus deyrnasiad Iehosaphat.*

AC Iehosaphat ei fab ef a deyrnasodd yn ei lê ef: ac a orthrechodd ar Israel.

b Pen 11 — 2 b Ac efe a roddodd fyddin ym mhob un o gaeroc ddinasoedd Iuda: ac a roddes raglawiaid yng-wlâd Iuda, ac yn ninasoedd Ephraim y rhai a enillase Asa ei dad ef.

c Pen 15, 2 Rhuf. 8, 31 2 Sam. 7, 14 — 3 c A'r Arglwydd a fu gyd ag Iehosaphat: canys efe a rodiodd * yn ffyrdd Dafydd ei dad, ac nid ymofynodd am Baalim.

d 1 Bren. 12, 28 — 4 d Eithr Duw ei dâd a geisiodd efe, ac yn ei orchymynion ef y rhodiodd efe: ac nid yn ôl arfer Israel.

e Sal 15, 1 Sam 10, 27 1 Bren. 10, 25 Pen 4 — 5 e Am hynny'r Arglwydd a siccrhaodd y frenhiniaeth yn ei law ef, a holl Iuda a roddasant anrhegion i Iehosaphat; felly'r ydoedd iddo ef olud, ac anrhydedd yn helaeth.

f Ioan 17 Erra 1 Bren. 4 — 6 f Ac efe a dderchafodd ei galon yn ffyrdd yr Arglwydd; ac efe a fwriodd ymmaith hefyd yr uchelfeudd a'r llwynau o Iuda.

g Esa. 2, 3 Esa. — 7 g Yn y drydedd flwyddyn oi deyrnasiad, efe a anfonodd ei dywysogion, sef Benhail, ac Obadia, a Zacharia, Nathaneel hefyd a Michaiahu, i ddyscu drwy ddinasoedd Iuda.

h Neh. 7 Mal Deut. 8 — 8 h A chyd a hwynt [yr anfonodd efe] y Lefiaid hyn, Semeiahu, a Nethaniahu, a Zebadiahu, ac Asael, a Semiramoth, ac Iehonathan, ac Adoniahu, Tobiahu hefyd, a Thob-adoniahu y Lefiaid; a chyd a hwynt Elisama, ac Ioram yr offeiriaid.

i Esa. — 9 i A hwynt a ddyscasant yn Iuda, ac chyd a hwynt [yr oedd] llyfr cyfraith yr Arglwydd: felly'r amgylchasant hwy holl ddinasoedd Iuda,

ac y dyscasant y bobl.
j Pen. 14, 14 Gen. 35,5 10 [j] Ac arswyd yr Arglwydd oedd ar holl de-
yrnasoedd y gwledydd y rhai [oeddynt] o am-
gylch Iuda; fel nad ymladdasant hwy yn erbyn
Iehosaphat.
11 A [rhai] o'r Philistiaid oeddynt yn dwyn i
Iehosaphat anrhegion, a thyrnged o arian: yr
Arabiaid hefyd oeddynt yn dwyn iddo ef fân
yscrubliaid, [sef] saith mîl, a saith gant o hyrdd-
od, a saith mîl, a saith gant o fychod.
12 Felly Iehosaphat oedd yn myned rhagddo,
ac yn cynnyddu yn oruchel: ac efe a adailad-
odd yn Iuda balâsau, a dinasoedd tryssorau.
k 2 Cor. 1, 28 Pen 11, 11 13 [k] A llawer o waith oedd ganddo ef yn ni-
nasoedd Iuda: a rhyfel-wŷr cedyrn nerthol yn
Ierusalem.
l Pen. 13, 3 14 [l] Ac dymma eu rhifedi hwynt yn ôl tŷ eu
tadau: o Iuda yn dywysogion y miloedd [yr
oedd] Adna y tywysog, a chyd ag ef dry-chant
mil [o wŷr] cedyrn nerthol.
15 Ac yn nesaf atto ef Iehohanan y tywysog:
a chyd ag ef ddau cant a phedwar ugain mil.
m Sal. 110, 3 a 119,108. Act. 2,41 a 4,11 Barn 5,9 Sal. 47,9 Can 6,11 Zec 8,21 Esa. 42,8 n 1 Cron. 12,2 Sal. 112,5 16 [m] A chor llaw iddo ef Amasia mab Zichri
yn ei ymroddi ei hun i'r Arglwydd: a chyd ag
ef ddau cant mil [o wŷr] cedyrn nerthol.
17 [n] Ac o Beniamin [yr oedd] Eliada yn [ŵr]
cadarn nerthol: a chyd ag ef ddau can-mil yn
arfogion o fwâu, a tharianau.
18 A chor llaw iddo ef Iehozabad: a chyd ag
ef gant a phedwar ugain mil wedi ymwregysu
i'r llû.
19 Y rhai hyn oeddynt yn gwasanaethu'r bre-
nin heb law y rhai a roddase y brenin yn y di-
nasoedd caerog drwy holl Iuda.

## PEN. XVIII.

*Y gyfathrach rhwng Iehosaphat ac Ahab. 10 Gwirionedd Micheas ei hun yn erbyn na chelwydd pedwar-cant o'r gau brophwydi.*

1 Sam. 2, 30 Pen. 17, 5 Mat. 6,33 1 Tim. 4,8 AC [o] i Iehosaphat yr ydoedd golud, ac an-
rhydedd yn helaeth: ac efe a ymgyfath-
rachodd ag Ahab.
2 Bren. 8, 18 1 Cron. 8 2 Bren. 4 2 [p] Ac ym mhen [ennyd] o flynyddoedd efe a
ddaeth i wared at Ahab i Samaria, ac Ahab a
laddodd ddefaid, a gwartheg yn aml iddo ef, ac
i'r bobl y rhai [oeddynt] gyd ag ef, ac ai han-
nogodd ef i fyned i fynu i Ramoth Gilead:
1 Bren. 22, 4 Cen 19,2 3 [*] Canys Ahab brenin Israel a ddywedodd
wrth Iehosaphat brenin Iuda, A ei di gyd a mi
i Ramoth Gilead? yntef a ddywedodd wrtho,
Yr ydwyf fi fel tithe, a'm pobl mau fi fel dy bobl
dithe, a [byddaf] gyd a thi yn y rhyfel.
Sam. 1, 4 [q] Iehosaphat hefyd a ddywedodd wrth fre-
nin Israel: Ymgynghora attolwg heddyw a
gair yr Arglwydd.
Bren. 6 Jac. 13, 5 [r] Yna brenin Israel a gasclodd o'r prophwydi
bedwar cant o wŷr, ac a ddywedodd wrthynt
hwy, A awn ni yn erbyn Ramoth Gilead i ryfel,
neu a beidiaf? dywedasant hwythau, Dôs i fynu,
canys yr Arglwydd ai dyru yn llaw y brenin.
6 Ac Iehosaphat a ddywedodd, Onid [oes]
ymma [un] prophwyd i'r Arglwydd mwyach,
fel yr ymgynghorem ag ef?
7 [s] A brenin Israel a ddywedodd wrth Iehosa- s Mica 2, 11
phat, [Y mae] etto un gŵr drwy'r hwn y [gallem] 2 Tim. 4, 3
ymgynghori a'r Arglwydd, ond y mae yn gâs Gal. 4,16
gennifi ef, canys nid yw'n prophwydo i mi ddai-
oni, onid drygioni er ei oed, efe [yw] Michea
mab Iimla: a dywedodd Iehosaphat, Na ddy-
weded y brenin felly.
8 Yna brenin Israel a alwodd ar un [oi] sta-
feliyddion: ac a ddywedodd, Bryssia [galw]
Michea fab Iimla.
9 A brenin Israel ac Iehosaphat brenin Iuda
oeddynt yn eistedd bob un ar ei deyrn-gader
wedi eu gwisco mewn [brenhinawl] wiscoedd,
eistedd yr oeddynt mewn llannerch [wrth]
ddrws porth Samaria: a'r holl brophwydi oedd-
ynt yn prophwydo ger eu bron hwynt.
10 [t] A Zedecia mab Chanaana a wnaethe iddo t 1 Bren. 11, 30
ei hun gyrn heirn: ac a ddywedodd, Fel hyn 2 Bren. 13, 15
y dywedodd yr Arglwydd, A'r rhai hyn y corni Zec. 1,18
di y Syriaid nes iti eu difa hwynt. 19
11 [u] A'r holl brophwydi oeddynt yn proph- u Diar. 24, 24, 25
wydo fel hyn gan ddywedyd, Dos i fynu i Ra-
moth Gilead, a ffynna, canys yr Arglwydd ai
dyru hi yn llaw y brenin.
12 [v] A'r gennad yr hwn a aethe i alw Michea v Hos. 6,9
a lefarodd wrtho ef gan ddywedyd, Wele eiriau Sal 50,18 Dat. 17,17
y prophwydi o un enau yn dda i'r brenin: by- Act. 15, 20
dded gan hynny attolwg dy air dithe fel un o'r Esa. 28, 18
rhai hynny, dywet y goref. Ex. 23, 2
13 [w] A Michea a ddywedodd, [Fel] mai byw'r Dat. 13,3 Gen. 17,1
Arglwydd, [dian] mai'r hyn a ddywedo fy Nuw, w Ier 23, 28 a 42,4
hynny a lefarafi. 1 Cor. 11, 23
14 [x] Felly efe a ddaeth at y brenin, a'r brenin x Galar. 4 21
a ddywedodd wrtho ef, Michea, a awn ni i ry- Amos 4, 6, 5
fel yn erbyn Ramoth Gilead, neu a beidiafi? dy-
wedodd yntef, Ewch i fynu, a ffynnwch, canys
rhoddir hwynt yn eich llaw chwi.
15 A'r brenin a ddywedodd wrtho ef, Hyd ba
sawl gwaith yr ydwyfi yn dy dynghedu di, ar
na leferech wrthifi onid gwirionedd yn enw'r
Arglwydd?
16 [y] Yna efe a ddywedodd: Gwelais holl Is- y 1 Bren. 22, 17
rael yn wasgaredic ar y mynyddoedd fel defaid
y rhai ni [bydde] iddynt fugail: a dywedodd
yr Arglwydd, Nid [oes] feistred arnynt hwy,
dychweled pob un iw dŷ ei hun mewn tang-
neddyf.
17 A brenin Israel a ddywedodd wrth Ieho-
saphat, Oni ddywedais i wrthit, Na prophwyde
efe ddaioni i mi, onid drygioni?

z Sal. 103, 20, 21 a 148, 2 Dan. 7, 10
18 z Yntef a ddywedodd, Gan hynny gwrando air yr Arglwydd: Gwelais yr Arglwydd yn eistedd ar ei orseddfa, a holl lu y nefoedd yn sefyll ar ei ddeheu-law ef, ac ar ei law asswy ef.

19 A dywedodd yr Arglwydd, Pwy a dwylla Ahab brenin Israel fel yr elo efe i fynu, ac y syrthio yn Ramoth Gilead? (dywedodd hefyd) Un oedd yn dywedyd fel hyn, ac arall oedd yn dywedyd fel hyn.

y 2Thes. 2, 9, 11 2Cor. 12, 7
20 y Yna yspryd a aeth allan, ac a safodd ger bron yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Myfi ai twyllaf ef: a dywedodd yr Arglwydd wrtho ef, Pa fodd?

z Hos. 4, 12 Zec. 13, 2 Ioan 8, 44 *2Thes. 2 11 Sal 109, 17
21 z Dywedodd yntef, Myfi a âf allan, * ac a fyddaf yn yspryd celwyddoc yng-enau ei holl brophwydi ef: yna y dywedodd [yr Arglwydd] Twylli, a gorchfygi, dos allan, a gwna felly.

Mat. 6, 13 a Amos 3 6 Rhuf. 1, 23 Barn. 9, 23
22 a Ac yn awr wele'r Arglwydd a roddodd yspryd celwyddoc yng-enau dy brophwydi hynn: a'r Arglwydd a lefarodd am danat ti ddrygioni.

b 2Cor 12 7 Act. 23, 2 Marc 14, 6 Ier. 20, 2
23 b Yna Zidecia mab Canaana a nessaodd, ac a darawodd Michea tan [ei] gern, ac a ddywedodd, Pa ffordd yr aeth yspryd yr Arglwydd oddi wrthifi i ymddiddan a thi?

c Rhuf. 7, 2 Mat. 2, 16
24 c A Michea a ddywedodd, Wele ti a gei weled y dwthwn hwnnw: pan elech di o stafell i stafell i ymguddio.

25 A brenin Israel a ddywedodd, Cymmerwch Michea, a dygwch ef at Amon tywysog y ddinas: ac at Ioas mab y brenin.

d Ier. 37, 15 Mat. 14, 3 Esa. 30, 20 1 Bren. 22, 27
26 d A dywedwch, Fel hyn y dywedodd y brenin, Gosodwch hwn yn y carchar-dŷ: a bwydwch ef a bara cystudd, ac a dwfr blinder, nes i mi ddyfod eilwaith mewn heddwch.

e Num 16 29
27 e Yna y dywedodd Michea, Os gan ddychwelyd y dychweli di mewn heddwch ni lefarodd yr Arglwydd yno fi, efe a ddywedodd hefyd, Gwrandewch [hyn] yr holl bobl.

28 Felly brenin Israel, ac Iehosaphat brenin Iuda a aethant i fynu i Ramoth Gilead.

f Diar. 21 30 Iob 5, 12 13, 14
29 f A brenin Israel a ddywedodd wrth Iehosaphat, Mi a newidiaf fy nillad, ac a âf i'r rhyfel, ond gwisc di dy ddillad: felly brenin Israel a newidiodd ei ddillad, a hwy a aethant i'r rhyfel.

30 A brenin Syria a orchymynnodd i dywysogion y cerbydau y rhai [oeddynt] ganddo ef gan ddywedyd, Nac ymleddwch a bychan, nac a mawr, onid a brenin Israel yn unic.

g Sal. 46, 1 Gen. 22, 14 1Cron 18 31 Ex. 14, 15
31 g Pan welodd tywysogion y cerbydau Iehosaphat, yna hwy a ddywedasant, Brenin Israel [yw] efe, a hwy a droasant i ymladd yn ei erbyn ef: ond Iehosaphat a waeddodd, a'r Arglwydd ai cynnorthwyodd ef, a Duw ai gyrodd hwynt oddi wrtho ef.

32 A phan welodd tywysogion y cerbydau nad brenin Israel oedd efe: yna hwynt a ddychwelasant oddi ar ei ôl ef.

33 Yna [rhyw] ŵr a dynnodd mewn bwa ar ei amcan, ac a drawodd frenin Israel rhwng y cyssylldiadau, sef rhwng [cyssylldiadau] y lluric: am hynny efe a ddywedodd wrth ei wastrawd, Trô dy law, a dwg fi allan o'r gâd, canys fo'm clwyfwyd i.

34 h A'r rhyfel a gryfhaodd y dwthwn hwnnw, a brenin Israel oedd yn sefyll mewn cerbyd ar gyfer y Syriaid hyd yr hwyr: ac efe a fu farw ym mhrŷd machludiad haul.
h 1Sam. 25 Pen 18, 30

## PEN. XIX.

*Iehu yn ceryddu Iehosaphat. 4 Gofal Iehosaphat am yr iawn grefydd.*

AC i Iehosaphat brenin Iuda a ddychwelodd iw dŷ ei hun i Ierusalem mewn heddwch.
i Pen 18, 31

2 j Ac Iehu mab Hanani y gweledydd a aeth oi flaen ef, ac a ddywedodd wrth y brenin Iehosaphat, Ai cynnorthwyo yr annuwiol, a charu y rhai oeddynt yn cassau yr Arglwydd a wnait ti: Am hyn digofaint oddi wrth yr Arglwydd [sydd yn dyfod] arnat ti.
j 1 Bren. 16. 1, 3 Pen 20, 37 Sal. 15, 4 a 139, 21 Rhuf. 1, 30 Pen 18, 3 a 20, 1

3 k Er hynny pethau dâ a gafwyd ynot ti: canys ti a dynnaist ymmaith y llwyni o'r wlâd, ac a baratoaist dy galon i geisio Duw.
k Neh. 9, 8 Luc 1, 6 Pen 17, 6 Ezra 7, 10

4 l Felly Iehosaphat a drigodd yn Ierusalem: ac a ddychwelodd, ac a aeth trwy yr bobl o Beer-seba hyd fynydd Ephraim, ac ai dûg hwynt eil-waith at Arglwydd Dduw eu tadau.
l Pen 17, 7 1 Bren. 12, 3

5 Ac efe a osododd farn-wŷr yn y wlâd, drwy holl ddinasoedd caeroc Iuda, ac ym mhob dinas.

6 m Ac efe a ddywedodd wrth y barn-wŷr, Gwelwch beth yr ydych yn ei wneuthur, canys nid tros ddŷn y bernwch onid tros yr Arglwydd: ac [efe a fydd] gyd a chwi wrth roddi barn.
m Sal. 82, 1, 2

7 n Yn awr gan hynny bydded ofn yr Arglwydd arnoch chwi: cedwch, a gwnewch [hynny] o herwydd nid [oes] anwiredd gyd a'r Arglwydd ein Duw, * na derbyniad wyneb, na derbyniad gwobr.
n Neh. 5, 15 *Deut. 10, 17 Iob 34, 19 Act. 10, 34 Rhuf. 2, 11 a 3, 14 Gal. 2, 6 Eph. 6, 9 Col. 3, 25 1 Pedr. 1, 17

8 o Ac Iehosaphat a osododd hefyd yn Ierusalem [rai] o'r Lefiaid, ac o'r offeiriaid, ac o bennau tadau Israel [i drîn] barnedigaethau a matterion yr Arglwydd: a hwynt a ddychwelasant i Ierusalem.
o Pen 17, 8

9 p Ac efe a orchymynodd iddynt gan ddywedyd: Fel hyn y gwnewch mewn ofn yr Arglwydd mewn ffydd, ac a chalon berffaith.
p 2 Sam. 23, 3

10 q Am bôb ymryson a'r a ddêl attoch chwi oddi wrth eich brodyr (y rhai sy yn trigo yn eu dinasoedd) rhwng gwaed a gwaed, rhwng cyfraith a gorchymyn, deddfau a barnedigaethau, rhybuddiwch hwynt fel na throsseddant yn er-
q Deut. 17, 8 a 5, 31 Num 16, 46 Ezec. 3, 18

hwynt, fel y dychwelont i'r wlad ymma: o ble-
git grasol, a thrugarog [yw]'r Arglwydd eich
Duw, ac ni thrŷ efe ei wyneb oddi wrthych os
dychwelwch atto ef.
a Pen 36, 16 10 [a] Felly y rhedeg-wyr fuant yn myned o
ddinas i ddinas drwy wlad Ephraim, a Manas-
ses hyd Zabulon: ond hwynt ai dynwaredas-
ant, ac ai gwatwarasant hwy.
b Act. 17 11 [b] Er hynny gwŷr o Aser, a Manasses, ac o
38 Iago 4,10 Zabulon a ymostyngasant, ac a ddaethant i
Ierusalem.
c Sal.110 12 [c] Llaw Dduw hefyd fu yn Iuda, gan roddi
3 iddynt un galon i wneuthur gorchymyn y bren-
Act. 4,32 Ex. 12,6 in, a'r tywysogion yn ol gair yr Arglwydd.
13 A phobl lawer a ymgasclasant i Ierusalem
i gynnal gwyl y bara croiw yn yr ail mis: [sef]
cynnulleidfa fawr iawn.
d Pen 29, 19 14 [d] A hwynt a gyfodasant, ac a fwriasant
ymmaith yr allorau y rhai [oeddynt] yn Ieru-
salem: bwriasant ymmaith allorau'r arogl-darth
a thaflasant [hwynt] i afon Cedron.
15 Yna'r aberthasant y Pasc ar y pedwerydd
[dydd] ar ddec o'r ail mis: yr offeiriaid hefyd
a'r Lefiaid a gywilyddiasant, ac a ymgyssegr-
asant, ac a ddugasant boeth offrymmau i dŷ'r
Arglwydd.
Ex. 12,3 16 [e] A hwynt a safasant ar eu lle wrth eu har-
fer yn ol cyfraith Moses gwr Duw: a'r offeir-
iaid oeddynt yn taenellu y gwaed o law y
Lefiaid.
17 Canys [yr oedd] llawer yn y gynnulleidfa
y rhai nid ymsancteiddiasent: a'r Lefiaid [oedd-
ynt bennaf] ar aberth y Pasc dros yr holl rai
aflan, [iw] sancteiddio [hwynt] i'r Arglwydd.
Cor.11 18 [f] O herwydd llawer o'r bobl [sef] llawer o
um. 19 Ephraim, a Manasses, Issachar, a Zabulon nid
ymlanhausant, eithr hwy a fwytawsant y Pasc
yn amgenach nac y mae yn scrifennedic: am
hynny Hezecia a weddiodd drostynt hwy gan
ddywedyd, Yr Arglwydd daionus a faddeu i
[bawb,]
Pen 19 19 [g] Pwy bynnac a baratôdd ei galon i geisio
151,15 Duw, [sef] Arglwydd Dduw ei dadau: er na
[lanhauwyd ef] yn ol puredigaeth y cyssegr.
1 Cor. 30 20 [h] A'r Arglwydd a wrandawodd ar Hezecia,
x.12,15 ic 12,1 ac a iachâodd y bobl.
at 16.6 21 [i] A meibion Israel y rhai a gafwyd yn Ier-
l. 71,4 3,4 usalem a gynhaliasant ŵyl y bara croiw saith
f. 23,5 7,6 niwrnod drwy lawenydd mawr: y Lefiaid hef-
ut.16, yd, a'r offeiriaid oeddynt yn moliannu'r Ar-
sa.40,2 9,10 glwydd o ddydd i ddydd ag offer [yn cydganu]
im.4,2 ar offer soniarus i'r Arglwydd.
at. 15, 22 [j] Ac Hezecia a ddywedodd wrth [fodd]
eg. 12 calon yr holl Lefiaid y rhai oeddynt yn medru
uf.12, [drwy] ddeall da [ganu] i'r Arglwydd: am hyn-
.50,23 ny hwy a fwytasant yr amser gosodedic hwn-
nw [dros] saith niwrnod, [ac] a aberthasant
ebyrth hedd, ac a foliannasant Arglwydd Dduw
eu tadau.
23 A'r holl gynnulleidfa a ymgynghorasant i
gynnal saith o ddyddiau eraill: felly y cynhal-
iasant saith o ddyddiau [drwy] lawenydd.
24 [k] Canys Hezecia brenin Iuda a roddodd i'r k 1Bren.
gynnulleidfa fil o fustych, a saith mil o ddefaid, 8, 63
a'r tywysogion a roddasant i'r gynnulleidfa fil
o fustych, a deng-mil o ddefaid: a llawer o
offeiriaid a ymsanctaiddiasant.
25 A holl gynnulleidfa Iuda a lawenychas-
ant gyd a'r offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r holl gyn-
nulleidfa y rhai oeddynt yn dyfod o Israel: a'r
dieithriaid y rhai oeddynt yn dyfod o wlad Is-
rael, a'r rhai oeddynt yn gwladychu yn Iuda.
26 Felly y bu llawenydd mawr yn Ierusalem:
canys er dyddiau Salomon mab Dafydd brenin
Israel ni [bu] cyffelib i hyn yn Ierusalem.
27 [l] Yna yr offeiriaid a'r Lefiaid a gyfodasant, l Pen 13,
ac a fendithiasant y bobl, a gwrandawyd ar eu 9 10 Num. 6,
llef hwynt: ai gweddi hwynt a ddaeth at ei 23, 27
bresswylfa sanctaidd ef i'r nefoedd. Sal. 68,5

## PEN. XXXI.

*Gofal Hezecia yn erbyn gau-dduwiaeth, a thros iawn wasanaeth Duw.*

PAN orphennwyd hyn ei gyd, holl Israel y
rhai a gafwyd yn ninasoedd Iuda a aeth-
ant allan, * ac a ddrylliasant y delwau, [m] ac a *Diar.21 3
dorrasant y llwynau, ac a ddestruwiasant yr Ios.10,11 a 7, 1
uchelfeudd a'r allorau o holl Iuda a Beniamin, Ezra10,1 2
yn Ephraim hefyd, a Manasses, nes [eu] difa m 2Bren
[hwynt:] yna holl feibion Israel a ddychwelas- 18, 4 Pen 14,3
ant bob un at ei feddiant, i'w dinasoedd.
2 [n] Ac Hezecia a osododd ddosparthiadau'r n 1Cron. 23, 6
offeiriaid, a'r Lefiaid yn eu trefniadau, pob un a 24, 1
yn ol ei wenidogaeth, yr offeiriaid a'r Lefiaid i'r Num.4,3 a 8, 19
poeth offrwm, ac i'r ebyrth hedd i weini, i fol-
iannu hefyd, ac i ganmol ym mhyrth gwers-
syllau yr Arglwydd.
3 [o] A rhan y brenin [oedd] oi olud ei hun yn o 1 Cron 26, 26
boeth offrymmau, [sef] yn boeth offrymmau y a 29, 3
borau a'r hwyr, ac yn boeth offrymmau ar y Ex 29,23
Sabbothau, ac ar y newydd loerau, a'r gŵyliau
arbennic: fel y mae yn scrifennedic * yng hyf- * Num. 28, 9, 10,
raith yr Arglwydd. 11, 12
4 [p] Efe hefyd a ddywedodd wrth y bobl sef Lef. 23,2 p Neh. 13
trigolion Ierusalem am roddi rhan i'r offeiriaid, 10 1 Cor. 9,
a'r Lefiaid: fel yr ymgryfhaent yng-hyfraith yr 14 Mat. 13,
Arglwydd. 52
5 [q] A phan gyhoeddwyd y gair hwn, meibion Mal. 2,7 Esa. 8,20
Israel a ddugasant yn aml flaen-ffrwyth yr ŷd, q Ex. 23, 9
y gwin, yr olew hefyd, a'r mêl, ac o holl gnwd Lef. 27,
y maes: a'r degwm o bob peth a ddugasant 30
hwy yn helaeth.
6 [r] A meibion Israel ac Iuda y rhai oeddynt r Deut.14 28

yn trigo yn ninasoedd Iuda, ie hwynt hwy [a
ddugasant] ddegwm gwartheg, a defaid, a deg-
wm y pethau cyssegredic y rhai a gyssegrasid
i'r Arglwydd eu Duw: dugasant, a dodasant
[hwy] bob yn ben-twrr.
s Pen 15, 10 Lef 23, 14 7 [s] Yn y trydydd mis y dechreuasant hwy seil-
io y pentyrrau: ac yn y seithfed mis y gorphen-
nasant hwy.
t Gen. 14, 20 a 31, 35 8 [t] Pan ddaeth Hezecia a'r tywysogion, a
gweled o honynt y pentyrrau: yna y bendith-
iasant yr Arglwydd ai bobl Israel.
9 Ac Hezecia a ymofynnodd a'r offeiriaid, a'r
Lefiaid o herwydd y pentyrrau.
u 2 Bren 25, 18 Pen 24, 6 Mal 3, 10, 11 Gen. 12, 2 10 [u] Ac Azaria yr offeiriad pennaf o dŷ Zadoc
a ddywedodd wrtho ef, ac a lefarodd, Er pan
ddechreuwyd dwyn offrwm i dŷ'r Arglwydd
bwytawsom ac fe a'n digonwyd ni, gweddillas-
om hefyd amldra mawr, canys yr Arglwydd a
fendithiodd ei bobl, a'r amldra hyn a weddill-
wyd.
v 1 Bren 6, 5 1Tim 6, 8 11 [v] Ac Hezecia a ddywedodd am barotoi cell-
oedd yn nhŷ'r Arglwydd, a hwynt ai paratoasant.
w Pen 26, 20 12 [w] A hwynt a ddugasant y blaen-ffrwyth, a'r
degwm, a'r pethau cyssegredic yn ffyddlon: a
Chonaniah y Lefiad [oedd] yn flaenor arnynt
hwy, a Simei ei frawd ef yn ail.
13 Iehiel hefyd, ac Azaria, a Nahath, ac Aza-
hel, ac Ierimoth, ac Iozabad, ac Eliel, ac Is-
machia, Mahath hefyd, a Benaia [oeddynt]
swyddogion tann law Chonaniah, a Simei ei
frawd ef drwy orchymyn Hezecia y brenin, ac
Azaria [oedd] flaenor yn nhŷ Dduw.
x 1 Bren 11, 6 Lef. 6, 18 14 [x] A Chore mab Imnah y Lefiad porthor
tua'r dwyrain [oedd] ar y pethau a offrymmid
yn ewyllyscar i Dduw: i roddi y blaen-ffrwyth
i'r Arglwydd, a'r cyssegredic bethau y rhai a
gyssegrasid.
15 A thann ei law ef [yr oedd] Eden, a Minia-
min, ac Iesua, a Semaiah, Amariahu, a Secan-
iahu yn ninasoedd yr offeiriaid mewn ffyddlon-
deb: i roddi iw brodyr eu rhan, i fawr, ac i
fychan.
y Ex. 5, 13 16 [y] (Heb law y gyrfiaid oi hiliogaeth hwynt o
fab tair blwydd ac uchod) i bawb a'r a oedd yn
dyfod i dŷ'r Arglwydd traul dydd yn ei ddydd:
yn eu gwasanaeth hwynt o fewn eu gorchwyl-
iaethau, yn ol eu dosparthiadau.
17 Ac i hiliogaeth yr offeiriaid drwy dŷ eu
tadau hwynt, a'r Lefiaid, o fab ugain mlwydd
ac uchod: yn ol eu gorchwyliaethau yn eu dos-
parthiadau.
z 1Cron. 9, 22 18 [z] Ac i hiliogaeth eu holl blant hwynt, eu
gwragedd hwynt, eu meibion hefyd, ai merched
[sef] i'r holl gynnulleidfa: o blegit trwy eu
ffyddlondeb hwynt y trinent hwy yn sanctaidd
yr hyn oedd sanctaidd.
19 Ac i feibion Aaron yr offeiriaid [y rhai
oeddynt] ym meusydd pentrefol eu dinasoedd,
ym mhob dinas y gwŷr y rhai a henwasid wrth
eu henwau: i roddi rhannau i bob gwryw ym
mysc yr offeiriaid, ac i holl hiliogaeth y Lefiaid.
20 [a] Ac fel hyn y gwnaeth Hezecia drwy holl a 2Bren.
Iuda: ac efe a wnaeth yr hyn oedd yn dda, 20, 3
ac yn iawn, a'r gwirionedd ger bron yr Ar-
glwydd ei Dduw.
21 [b] Ac ym mhob gwaith yr hwn a ddechreu- b 2Bren 2, 4
odd efe yng-wenidogaeth tŷ Dduw, ac yn y 1Tim. 4, 8
gyfraith, ac yn y gorchymyn, gan geisio ei Mat 6, 33 Diar. 3, 9
Dduw: efe ai gwnaeth ai holl galon, ac a ffyn- Mal. 3, 10 Hag. 1, 5 6, 7
nodd. Neh. 9, 20, 21, 22

## PEN. XXXII.

*Rhyfel Senacherib yn erbyn Iuda. 3 Gofal Hezecia. 7 Ai amddiffyn.*

WEDI [c] y pethau hyn, a'r gwirionedd c 2Cron.
ymma, y daeth Senacherib brenin As- Pennod 29, 30, 31
syria: ac efe a ddaeth i mewn i Iuda, ac a Gen 22, 1
wersyllodd yn erbyn y dinasoedd caeroc, ac a Esa. 37, 24, 25
feddyliodd eu hennill hwynt iddo ei hun.
2 [d] Pan welodd Hezecia ddyfod Senacherib: d 2 Bren 18, 17
a [bod] ei wyneb ef i ryfela yn erbyn Ierusalem:
3 [e] Yna efe a ymgynghorodd ai dywysogion, e Esa. 22, 9
ac ai gedyrn am argaeu dyfroedd y ffynhonnau 2 Bren.
y rhai [oeddynt] allan o'r ddinas: a hwynt ai 20, 20
cynnorthwyasant ef.
4 [f] Felly pobl lawer a ymgasclasant, ac a ar- f 1Bren. 1, 33
gaeasant yr holl ffynhonnau, a'r afon yr hon
sydd yn rhedeg drwy ganol y wlâd gan ddyw-
edyd, Pa ham y daw brenhinoedd Assyria, ac
y câut ddyfroedd lawer?
5 [g] Ac efe a ymegnïodd, ac a adailadodd yr g 2Bren.
holl fur drylliedic hwnnw, ac a gadarnhaodd 18, 14 a 25, 22
Milo [yn] ninas Dafydd: ac efe a wnaeth lawer
o biccellau, ac o dariannau.
6 Ac efe a osododd dywysogion rhyfel ar y
bobl: ac ai casclodd hwynt atto i heol porth y
ddinas, ac a lefarodd wrth [fodd] eu calon hwynt
gan ddywedyd,
7 [h] Ymwrolwch, ac ymgadarnhewch, nac ofn- h 1Cor 16, 13
wch, ac na arswydwch rhac brenin Assyria, na Sal 55, 16
rhac yr holl dyrfa'r hon [sydd] gyd ag ef: can- 2 Bren. 6, 16
ys [y mae] gyd a ni fwy na chyd ag ef.
8 [i] Gyd ag ef [y mae] braich gnawdol, a'r Ar- i Ier. 17, 5
glwydd ein Duw [sydd] cyd a ni i'n cynnorth- Pen 13, 12
wyo, ac i ryfela ein rhyfeloedd: a'r bobl a ym- Rhuf. 8, 31
gryfhausant o herwydd geiriau Hezecia brenin
Iuda.
9 Wedi hyn yr anfonodd * Senacherib brenin * 2 Bren
Assyria ei weision i Ierusalem (tra [yr ydoedd] 18, 17
efe [yn rhyfela] yn erbyn Lachis ai holl allu gyd
ag ef) at Hezecia frenin Iuda, ac at holl Iuda j 2Sam. 9, 13
y rhai [oeddynt] yn Ierusalem, gan ddywedyd, Gen. 49, 24
10 [j] Fel hyn y dywedodd Senacherib brenin Ios. 1, 14

Assyria, Ar ba beth yr ydych chwi yn hyderu,
chwi y rhai sy'n aros yng-warchaedigaeth o fewn
Ierusalem?
k Sal. 115 11 [k] Ond Hezecia sydd yn eich hûdo chwi,
i'ch rhoddi chwi i farw drwy newyn, a thrwy
syched gan ddywedyd, Yr Arglwydd ein Duw
ni a'n gwared ni o law brenin Assyria?
l 2 Bren. 18, 22 12 [l] Onid yr Hezecia hwnnw a dynnodd ym-
maith ei uchelfeudd ef, ai allorau, ac a lefarodd
wrth Iuda, ac Ierusalem gan ddywedyd, O
flaen un allor yr addolwch, ac ar honno yr
arogl-derthwch?
m 2 Bren. 18, 34 13 [m] Oni wyddoch chwi beth a wnenthum mi
a'm tadau i holl bobloedd y tiroedd? ai gan
allu y galle duwiau cenhedloedd y gwledydd
achub eu gwlâd o'm llaw i?
n Deut. 2, 34 14 [n] Pwy [sydd] ym mysc holl dduwiau y
cenhedloedd hyn (y rhai a ddarfu i'm tadau eu
difetha) a'r a ddichon waredu ei bobl o'm llaw
i: fel y galle eich Duw chwi eich gwaredu chwi
o'm llaw i?
o 2 Bren. 18, 29 15 [o] Yn awr gan hynny na thwylled Hezecia
chwi, ac na huded mo honoch fel hyn, ac na
choeliwch iddo ef, canys ni ddichon un Duw o'r
holl genhedloedd na'r teyrnasoedd achub ei bobl
o'm llaw i, nac o law fy nhadau: pa faint lai y
gwared eich duwiau chwchwi o'm llaw i?
p 2 Bren. 19, 9 16 [p] Ai weision ef a ddywedasant chwaneg yn
erbyn yr Arglwydd Dduw: ac yn erbyn He-
zecia ei was ef.
q 2 Bren. 19, 14 17 [q] Ac efe a scrifennodd lythyrau gan gablu
Arglwydd Dduw Israel: a thrwy lefaru yn ei
erbyn ef gan ddywedyd, Fel duwiau cenhed-
loedd y gwledydd y rhai nid achubasant eu
pobl o'm llaw i, felly nid achub Duw Hezecia
ei bobl o'm llaw i.
r 1 Sam. 18 [r] Yna y gwaeddasant hwy a llef uchel yn
iaith yr Iuddewon ar bobl Ierusalem y rhai
[oeddynt] ar y mur; iw hofni hwynt, ac iw bra-
wychu; fel yr ennillent hwy y ddinas.
19 Felly y dywedasant yn erbyn Duw Ieru-
salem, fel yn erbyn duwiau pobloedd y wlâd
[sef] gwaith dwylo dŷn.
s 2 Bren. 20 [s] Yna y gweddiodd Hezecia y brenin, ac
Esay mab Amos y prophwyd o blegit hyn: a
hwy a waeddasant i'r nefoedd.
21 Am hynny yr Arglwydd a anfonodd angel
yr hwn a laddodd bob cadarn nerthol [pob] bla-
enor hefyd a thywysog yng-wersyll brenin As-
syria: felly efe a ddychwelodd a chywilydd [ar
ei] wyneb i'w wlad ei hun, pan ddaeth efe i dŷ ei
dduw, yna y rhai a ddaethant allan oi emyscar
oedd ei hun ai lladdasant ef yno a chleddyf.
t Sal. 23, 1; 77, 20 22 [t] Felly y gwaredodd yr Arglwydd Hezecia
a thrigolion Ierusalem o law Zenacherib brenin
Assyria, ac o law pawb [eraill;] ac ai cadwodd
hwynt oddi amgylch;
23 [u] A llawer oeddynt yn dwyn offrwm i'r Ar- u Pen. 17, 5
glwydd i Ierusalem, a phethau gwerthfawr i He-
zecia brenin Iuda; fel y derchafwyd ef o hynny
allan yng-wydd yr holl genhedloedd.
24 Yn * y dyddiau hynny y clafychodd Hezecia * 2 Bren. 20, 1
i farw; ac efe a weddiodd ar yr Arglwydd, yntef a Esa. 38, 1
ddywedodd wrtho ef, ac a roddes argoel iddo ef.
25 [v] Ond ni thalodd Hezecia yn ol y gwobr v Sal. 78, 11
[yr hwn a roddasyd] iddo ef; canys ei galon ef a 106, 13
a dderchafodd; a digofaint a ddaeth yn ei erbyn a 116 12, 13
ef, ac yn erbyn Iuda, ac Ierusalem. Hab. 2. 4
26 Er hynny Hezecia a ymostyngodd oddi 2 Sam. 24, 1
wrth dderchafiad ei galon, efe a thrigolion Ier- Gen. 20, 7
usalem; ac ni ddaeth digofaint yr Arglwydd
arnynt hwy yn nyddiau Hezecia.
27 Ac yr oedd gan Hezecia gyfoeth ac anrhy-
dedd mawr iawn, ac efe a wnaeth iddo drysor-
au o arian, ac o aur, ac o feini gwerthfawr, o
bêr-aroglau hefyd, ac o dariannau, ac o bob
llestri hyfrydaidd.
28 A selêrau i gnwd yr ŷd, a'r gwin, a'r olew;
a phresêbau i bob anifail, a chorlannau i'r dia-
dellau [defaid.]
29 [w] Ac efe a wnaeth iddo ddinasoedd, ac [yr w Diar. 10, 22
oedd yn ei] feddiant ef ddefaid a gwarthec yn Sal. 127, 1
aml; canys Duw a roddase iddo ef gyfoeth 1 Cron. 29, 12
mawr iawn.
30 [x] A'r Hezecia ymma a argaeodd yr aber x 2 Bren. 20, 12
uchaf i ddyfroedd Gihon, ac ai dug hwynt yn Gen. 22, 1
inion oddi tanodd tua thu'r gorllewyn i ddinas Deut. 8 1
Dafydd; felly y ffynnodd Hezecia yn ei holl Iob 1, 12 a 2, 3, 6
waith. Ioan 2, 24, 25
31 [y] Ond o herwydd cennadau tywysogion Ios. 22, 2
Babilon, y rhai a anfonwyd atto ef i ymofyn am Gen. 22, 12
y rhyfeddod yr hwn a wnaethid yn y wlad, y y 2 Cron. Pennod
gwrthododd Duw ef; iw brofi ef, [ac] i wybod 28, 29, 30
cwbl [a'r a ydoedd] yn ei galon ef. Esa. pen. 36 hyd
32 [y] A'r rhan arall o hanes Hezecia ai gared- pen. 39
igrwydd ef; wele hwynt yn scrifennedic yng-
weledigaeth Esay mab Amos y prophwyd,
[ac] yn llyfr brenhinoedd Iuda ac Israel.
33 [z] Ac Hezecia a hunodd gyd ai dadau, a z Phil. 3, 13
chladdasant ef yn y fann uchaf o feddau meib-
ion Dafydd, a holl Iuda a thrigolion Ierusalem
a wnaethant anrhydedd iddo ef yr amser y bu
efe farw; a Manasses ei fab ef a deyrnasodd
yn ei le ef.

## PEN. XXXIII.

*Gau-dduwiaeth Manasses. 11 Ai gospedigaeth.*

MAB * deuddeng-mlwydd [oedd] Manas- * 2 Bren 21, 1, 2
ses pan ddechreuodd efe deyrnasu; a Deut. 18 9, 10
phymtheng mhlynedd a deugain y teyrnasodd 2 Bren. 18. 4
efe yn Ierusalem. Barn. 2, 11
2 Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng- Deut. 4, 5
olwg yr Arglwydd; yn ol ffieidd-dra y cenhedl-

oedd y rhai a fwriase'r Arglwydd allan o flaen
meibion Israel.
3 Canys efe a ddychwelodd, ac a adailadodd
yr uchelfeudd y rhai a ddinistriase Hezecia ei
dad ef; ac a gyfododd allorau i Baalim, ac a
wnaeth lwynau, ac a addolodd holl lû y nef-
oedd, ac ai gwasanaethodd hwynt.
4 Adailadodd hefyd allorau yn nhŷ'r Ar-
glwydd; [am] yr hwn y dywedase'r Arglwydd
yn Ierusalem y bydd fy enw i yn dragywydd.
a 1 Bren 6,36 a7,9 2 Bren 21,6 Amos4,4 1Cron.36 14 — 5 [a] Ac efe a adailadodd allorau i holl lû y nef-
oedd yn nau gyntedd tŷ'r Arglwydd.
6 Ac efe a yrrodd ei feibion drwy'r tân yn
nyffryn meibion Hinnon, dewinodd hefyd, a da-
roganodd, hudoliaethodd hefyd, a mawrhaodd
swynyddion, a dewiniaid; chwanegodd wneuth-
ur yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Arglwydd
iw ddigio ef.
b Sal. 132 14 Ier.32,24 — 7 [b] Ac efe a gyfleuodd ddelw gerfiedic (yr hon
a wnelse efe) yn nhŷ Dduw, [am] yr hwn y dy-
wedase Duw wrth Ddafydd, ac wrth Salomon
ei fab, Yn y tŷ hwn, ac yn Ierusalem (yr hon a
ddewisais o holl lwythau Israel) y gosodaf fy
enw yn dragywydd.
*2Sam.7, 10 Mat. 28, 20 — 8 Ac ni chwanegaf* symmud troed Israel
oddi ar y tir yr hwn a ordeiniais i'ch tadau chwi;
os cadwant ar wneuthur yr hyn oll a orchym-
ynnais i iddynt hwy trwy law Moses, sef yr
holl gyfraith a'r deddfau, a'r barnedigaethau.
c Esa. 9, 16 2Bren 21 9 — 9 [c] Felly Manasses a hudodd Iuda, a thrig-
olion Ierusalem i wneuthur yn waeth na'r cen-
hedloedd y rhai a ddifethase'r Arglwydd o flaen
meibion Israel.
d Zec. 11 7 — 10 [d] Er llefaru o'r Arglwydd wrth Manasses,
ac wrth ei bobl, etto ni wrandawsant hwy.
e Neh. 9 32 1Sam.13, 6 Deut. 20 56 Sal. 107 10, 11 — 11 [e] Am hynny y dug yr Arglwydd arnynt
hwy dywysogion y llu, y rhai [oeddynt] eiddo
brenin Assyria, a hwynt a ddaliasant Manasses,
[ac ai rhoddasant] mewn gefynnau; rhwymas-
ant ef hefyd a dwy gadwyn, a dugasant ef i Ba-
bilon.
f Mica6.9 Iob 36.8 Luc 15.16 17, 18 — 12 [f] A phan oedd gyfyng arno ef, efe a weddi-
odd ger bron yr Arglwydd ei Dduw; ac a ym-
ostyngodd yn ddirfawr o flaen Duw ei dadau.
g Esa. 1 18 1 Tim. 1 13 1 Cor. 6 11 Dan 4.25 Sal.94.12 — 13 [g] Pan weddiodd efe atto ef, yna efe a fu
fodlon iddo, ac a wrandawodd ei ddymuniad ef,
ac ai dychwelodd ef i Ierusalem iw frenhiniaeth:
yna y gwybu Manasses mai'r Arglwydd oedd
Dduw.
* Pen 32 6 1Bren. 1 33 Neh. 35 — 14 Wedi hyn hefyd efe a adailadodd y mur
eithaf i ddinas Dafydd, o du'r gorllewin i *
Gihon, o'r afon hyd y dyfodfa i borth y pyscod,
ac efe a amgylchodd Ophel, ac ai derchafodd
yn uchel iawn: ac efe a osododd dywysogion
y llu yn yr holl ddinasoedd caeroc o fewn Iuda.
h Sal. 119 6, 7 — 15 [h] Ac efe a ddug ymmaith y duwiau dieithr,
a'r ddelw o dŷ'r Arglwydd, a'r holl allorau y
rhai a adailadase efe ym mynydd tŷ'r Arglwydd,
ac yn Ierusalem; ac ai taflodd allan o'r ddinas.
16 [i] Ac efe a gyweiriodd allor yr Arglwydd, — i Luc 22, 32
ac a aberthodd arni hi ebyrth hedd a moliant;
dywedodd hefyd wrth Iuda, Am wasanaethu
Arglwydd Dduw Israel.
17 [j] Er hynny y bobl oeddynt etto yn aberthu — j 1 Bren 15, 14
yn yr uchelfeudd; etto i'r Arglwydd eu Duw — 2Bren. 12, 3
yn unic.
18 [k] A'r rhan arall o hanes Manasses, ai weddi — k Deut.
ef at ei Dduw, a geiriau y prophwydi y rhai a — 18, 9
lefarasant wrtho ef yn enw Arglwydd Dduw
Israel; wele hwynt ym mhlith geiriau bren-
hinoedd Israel.
19 [l] Ei weddi ef hefyd pan gymmododd [Duw] — l Pen 33,
ag ef, ai holl bechod ef, ai gamwedd, a'r lleoedd — 33
y rhai'r adailadodd efe ynddynt uchelfeudd, ac
y gosododd lwynau, a delwau cynn ymostwng
o honaw ef; wele hwynt yn scrifennedic ym
mysc geiriau y gweledyddion.
20 [m] Felly Manasses a hunodd gyd ai dadau, — m 1Bren
a chladdasant ef [yn] ei dŷ ei hun; ac Amon ei — 2, 10 Sal.
fab ef a deyrnasodd yn ei le ef. — Iob
21 Mab dwy flwydd ar hugain [oedd] Amon — 33
pan ddechreuodd efe deyrnasu; a dwy flynedd
y teyrnasodd efe yn Ierusalem.
22 [n] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng- — n Eph. 6,
olwg yr Arglwydd fel y gwnaethe Manasses ei — 1 Ezec. 9
dad ef; canys Amon a aberthodd i'r holl ddelw- — 18
au y rhai a wnelse Manasses ei dad ef, ac ai
gwasanaethodd hwynt.
23 [o] Ond nid ymostyngodd efe ger bron yr — o 2Tim.
Arglwydd fel yr ymostyngase Manasses ei dad — 13
ef; eithr yr Amon yma a bechodd fwy fwy.
24 [p] Ai weision ef a frad-fwriadasant i'w er- — p 2 Bren 21, 23
byn ef, ac ai lladdasant ef yn ei dŷ ei hun. — 2 Bren
25 A phobl y wlad a laddasant yr holl rai a — 22, 21
frad-fwriadasant yn erbyn y brenin Amon; a
phobl y wlad a urddasant Iosia ei fab ef yn fre-
nin yn ei le ef.

## PEN. XXXIV.

*Duwiol lywodraeth Iosia. 14 Caffaeliad llyfr y gyfraith.*
*20 Y brenin ar hynny yn gyrru i ymgynghori a Duw.*
*23 A'r atteb a gafodd efe.*

MAB wyth mlwydd [oedd] Iosia pan ddech- — q 1Bren. 15, 5
reuodd efe deyrnasu; ac un mlynedd ar — Deut. 5 32
ddec ar hugain y teyrnasodd efe yn Ierusalem. — Diar. 4 27
2 [q] Ac efe a wnaeth yr hyn oedd inion yng-ol- — r Preg.12 1
wg yr Arglwydd; ac a rodiodd yn llwybrau — 2 Tim. 3 15
Dafydd ei dad, ac ni ogwyddodd efe ar y llaw — 1 Sam. 1 24
ddehau nac ar y llaw asswy.
3 [r] Ac yn yr wythfed flwyddyn oi deyrnasiad — Diar. 22 6 a4, 3, 4
ef (tra'r ydoedd efe etto yn fachgen) efe a dde- — Salm 119 9
chreuodd geisio Duw Dafydd ei dad; ac yn — Pen 15 2
y ddeuddecfed flwyddyn efe a ddechreuodd — 1Bren 13 2

lanhau Iuda, ac Ierusalem o'r uchelfeudd, a'r
llwynau, a'r delwau cérfiedic, a'r delwau todd-
edic.
s 2 Bren 23 6 4 s Destruwiasant hefyd yn ei ŵydd ef allorau
Baalim, a'r delwau y rhai [a osodasid] i fynu
oddi arnynt hwy a dorrodd efe: y llwynau hefyd,
a'r delwau cerfiedic, a'r delwau toddedic a ddryll-
iodd efe, ac a faluriodd efe, tanodd hefyd [eu]
llwch hwy ar hyd wyneb beddau y rhai a aberth-
asent iddynt hwy.
t 2 Bren 23 16 5 Ac escyrn yr offeiriaid a t loscodd efe ar eu
hallorau: ac a lanhâodd Iuda, ac Ierusalem.
6 Felly [y gwnaeth efe] yn ninasoedd Manas-
ses, ac Ephraim, a Simeon, ac hyd Nephthali:
yn yr anghyfannedd-leoedd oddi amgylch.
t Deut 9 21 7 t Pan ddinistriodd efe yr allorau, a'r llwynau,
a dryllio o honaw y delwau cerfiedic gan [eu]
malurio, a thorri ymaith yr eulynnod eu gyd o
holl wlad Israel: yna efe a ddychwelodd i Ier-
usalem.
u 1 Bren 22 28 a 25 8 8 u Ac yn y ddeunawfed flwyddyn o'i deyrn-
asiad ef, wedi glanhau y wlad, a'r tŷ; efe a an-
fonodd Saphan fab Azaliahu, a Maasiah tywy-
sog y ddinas, ac Ioah fab Ioahaz y cofiadur i
† Pen 24, 5 gyweirio tŷ yr Arglwydd ei Dduw.
2 Bren 22 4 9 † A phan ddaethant hwy at Helcia yr arch-
Phil 4 8 offeiriad, yna y rhoddasant yr arian a ddygasid
Rhuf 2 12 i dŷ Dduw, y rhai a gasclase y Lefiaid, y rhai
oeddynt yn cadw y cyntedd o law Manasses,
ac Ephraim, ac oddi gan holl weddill Israel, ac
oddi ar holl Iuda, a Beniamin: a hwy a ddych-
welasant i Ierusalem.
v 2 Bren. 22 5 10 v A hwyntai rhoddasant yn llaw y gweith-
wyr, y rhai oeddynt oruchwylwyr yn nhŷ'r Argl-
wydd: hwyntau ai rhoddasant i wneuthurwyr y
gwaith y rhai oeddynt yn gweithio yn nhŷ'r Ar-
glwydd, i gyweirio, ac i gadarnhau y tŷ.
w 2 Bren 12, 11, 12 11 w Rhoddasant hefyd i'r seiri, ac i'r adailad-
wyr i brynu cerrig nadd, a choed tu ag at y
cyssylltiadau: ac i fyrddu y tai y rhai a ddinist-
riase brenhinoedd Iuda.
x Diar. 28 20 12 x A'r gwŷr oeddynt yn gweithio yn y gwa-
Neh. 7 2 ith yn ffyddlon, ac arnynt hwy yn olygwyr [yr]
1 Tim 2, 2 oedd Iahath, ac Obadiahu y Lefiaid o feibion
Bren 12 5 Merari, Zecaria hefyd, a Mesulam o feibion y
1 Sam. 23 Cehathiaid iw hannog: ac o'r Lefiaid pob deall-
gar mewn offer gerddgar.
13 Ac ar y clud-wyr, a'r golygwyr yr holl rai
oedd yn gweithio mewn amryw waith: ac o'r
Lefiaid [yr oedd] scrifennyddion, swyddogion
hefyd, a phorthorion.
2 Bren. 22, 8 14 *A phan ddugasant hwy allan yr arian y
Deut 31, 24, 26 rhai a ddugasid i dŷ'r Arglwydd, Helcia'r off-
eiriad a gafodd lyfr cyfraith yr Arglwydd [yr
hwn a roddasid] drwy law Moses.
15 A Helcia a attebodd, ac a ddywedodd

wrth Saphan yr scrifennydd, Cefais lyfr y gyf-
raith yn nhŷ'r Arglwydd: a Helcia a roddodd
y llyfr at Saphan.
16 A Saphan a ddug y llyfr at y brenin, ac a
ddug air trachefn i'r brenin, gan ddywedyd, Yr
hyn oll a roddwyd yn llaw dy weision di, y
maent hwy yn [ei] wneuthur.
17 y Toddasant hefyd yr arian y rhai a gafwyd y 2 Bren. 22, 9
yn nhŷ'r Arglwydd: a rhoddasant hwy yn llaw
y swyddogion, ac yn llaw y gweithwyr.
18 z Saphan yr scrifennudd a fynegodd hefyd
i'r brenin gan ddywedyd, Helcia'r offeiriad a z Deut. 17 19
roddodd i mi lyfr: a Saphan a ddarllenodd yn- Sal. 119, 21, 97, 98
ddo ef ger bron y brenin. 99
19 a A phan glybu y brenin eiriau y gyfraith, Ios. 1, 8 Deut. 31,
yna efe a rwygodd ei wiscoedd. 11 a Esa. 66, 2
20 A'r brenin a orchymynnodd i Helcia, ac i
Ahicam fab Saphan, ac i Abdon fab Micah, i
Saphan hefyd yr scrifennydd, ac i Asaiah gwas
y brenin gan ddywedyd:
21 b Ewch, ymgynghorwch a'r Arglwydd tro- b 2 Bren.
sofi, a thros y gweddill yn Israel, ac yn Iuda, am 22, 13
eiriau y llyfr yr hwn a gafwyd: canys mawr [yw] a 17, 6 Pen 33,
cynddaredd yr Arglwydd yr hon a dywalltodd 11
efe arnom ni o blegid na chadwodd ein tadau ni
air yr Arglwydd gan wneuthur yn ol yr hyn oll
a'r sydd yn scrifennedic yn y llyfr hwn.
22 Yna'r aeth Helcia, a'r rhai [a yrrodd] y bre-
nin at Huldah y brophwydes, gwraig Salum
mab Tocath, fab Hasrah ceidwad y gwiscoedd,
a hi oedd yn aros yn Ierusalem yn yr ail rhan
[oddiwrtho ef] ac ymddiddanasant a hi felly.
23 A hi a ddywedodd wrthynt hwy, Fel hyn y
dywedodd Arglwydd Dduw Israel, Dywedwch
i'r gwr yr hwn a'ch anfonodd chwi attafi,
24 c Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Wele
fi yn dwyn drwg ar y lle hwn, ac ar ei drigolion: c Amos. 6 5
sef yr holl felldithion y rhai ydynt yn scrifenne- Esa. 5, 5 Pen 36, 6
dic yn y llyfr yr hwn a ddarllenasant hwy ger 17 Dan. 9, 12
bron brenin Iuda. Lef. 26, 15
25 d Am iddynt fyng-wrthod i, ac arogl-darthu 16 Deut. 28,
i dduwiau dieithr i'm digio i a holl waith eu 15, 16 d Pen 12,
dwylo: am hynny yr ymdywallt fy llid i yn 2 a 15, 2
erbyn y lle hwn, ac nis diffoddir ef. Dan. 9 20 Sal. 115, 8
26 Ond am frenin Iuda'r hwn a'ch anfonodd Ier. 10, 3 4, 5
chwi i ymgynghori a'r Arglwydd, fel hyn y dy- 2 Bren 22
wedwch wrtho ef, Fel hyn y dywedodd Arg- 17 Ier. 15, 1
lwydd Dduw Israel [am] y geiriau y rhai a 1 Sam. 15,
glywaist. 29
27 O blegit i'th galon feddalhau, * ac i tithe
ymostwng o flaen Duw, pan glywaist ei eiriau
ef yn erbyn y fan hon, ac yn erbyn ei thrigolion,
ac ymostwng o honot ger fy mron, a rhwygo dy

* Y mae y gair Hebraeg yn arwyddo gwendid calon, yn tarddu oddiwrth ofn

PEN. XXXIV. adn. 28.] "Mewn heddwch." Nid heb angerdd dolur, pen. xxxv, 23. etto heb ryfel yn y pyrth, a'i enaid yntau yn heddwch Duw, Sal. lv, 18. Ier. 34, 5.

wiscoedd, ac ŵylo o'm blaen i: am hynny y
gwrandewais inne, medd yr Arglwydd.
28 [e] Wele mi a'th gymmeraf di ymmaith at dy
eEsa.57, dadau, a thi a ddugir ymmaith i'r bedd mewn
1 Sal.37,37 heddwch, fel na welo dy lygaid di yr holl ddrwg
Ier. 34,5 yr hwn yr ydwyfi yn ei ddwyn ar y fann hon, ac
yn erbyn ei phresswyl-wŷr: felly hwynt a ddug-
asant yn ei ol air i'r brenin.
* 2 Bren 29 * Yna y brenin a anfonodd: ac a gynhullodd
23, 1, 2 holl henuriaid Iuda, ac Ierusalem.
30 A'r brenin a aeth i fynu i dŷ'r Arglwydd,
a holl wŷr Iuda, a thrigolion Ierusalem, yr off-
eiriaid hefyd a'r Lefiaid a'r holl bobl o fawr i fy-
chan: ac efe a ddarllenodd lle y clywsant hwy
holl eiriau llyfr y cyfammod yr hwn a gawsid
yn nhŷ'r Arglwydd.
f 2 Bren. 31 [f] A'r brenin a safodd yn ei sefyll, ac a wnaeth
11, 14 gyfammod ger bron yr Arglwydd, ar rodio ar
ol yr Arglwydd, ac ar gadw ei orchymynnion
ef, ai destiolaethau, ai ddefodau, ai holl galon,
ac ai holl enaid: gan gwplau geiriau y cyfam-
mod y rhai oeddynt yn scrifennedic yn y llyfr
hwnnw.
32 Ac efe a wnaeth i bawb a'r a gafwyd yn
Ierusalem, ac yn Beniamin sefyll [wrth] yr am-
mod: trigolion Ierusalem hefyd a wnaethant
yn ol cyfammod Duw, [sef] Duw eu tadau.
g 1Bren. 33 [g] Felly Iosia a dynnodd ymmaith y ffieidd-
11.5 dra ei gyd o'r holl wledydd y rhai [oeddynt] eiddo
a 9, 6 meibion Israel, ac efe a wnaeth i bawb a'r a gaf-
Ios.24,31 Barn.2.7 wyd yn Israel wasanaethu'r Arglwydd eu Duw:
Dat. 2,10 Mat. 10, [ac yn] ei holl ddyddiau ef ni throasant hwy
22 oddi ar ol Arglwydd Dduw eu tadau.

## PEN. XXXV.

*Pasc Iosia, 20 ei ryfel, 23 ai farwolaeth.*

hEx.34, YNA [h] Iosia a gynhaliodd Basc yn Ieru-
18 a 12, 6 salem: a hwynt a aberthasant y Pasc y
pedwerydd [dydd] ar ddec o'r mis cyntaf.
iNum 18 2 [i] Ac efe a gyfleuodd yr offeiriaid yn eu gor-
1Cor.5,7 chwyliaethau: ac ai nerthodd hwynt yng-weini-
Pen,23,6 dogaeth tŷ'r Arglwydd.
jMal. 2,7 3 [j] Dywedodd hefyd wrth y Lefiaid (y rhai
1 Tim. 5, 17 oeddynt yn dyscu holl Israel a'r rhai oeddynt
Lef. 16.4 sanctaidd i'r Arglwydd) Rhoddwch yr Arch
Num 7, 9 1Cron 23 sanctaidd yn y tŷ yr hwn a adailadodd Salo-
27, 28 mon mab Dafydd brenin Israel, na [fydded hi
mwyach] i chwi yn faich ar yscwydd: gwasan-
aethwch yn awr yr Arglwydd eich Duw, ai
bobl Israel.
k 1Cron. 4 [k] Ymbarattoiwch gan hynny drwy deulu-
9, 10 oedd eich tadau yn ol eich dosparthiadau, fel *
* 1Cron. Pennod. yr scrifennodd Dafydd brenin Israel, ac yn ol
23—26 Pen 8,14 scrifen Salomon ei fab ef.
lSal. 134 1 5 [l] A sefwch yn y cyssegr yn ol dosparthiad-
Lef.16,16 au tylwyth tadau eich brodyr meibion y bobl:
ac [yn ol] dosparthiad tylwyth tad y Lefiaid.

6 [m] Felly aberthwch y Pasc: ymsancteiddi- mPen.30 5
iwch hefyd, a pharattoiwch eich brodyr i wneu-
thur yn ol gair yr Arglwydd drwy law Moses.
7 [n] Yna Iosia a roddodd i feibion y bobl ddia-
dell o ŵyn, ac o fynnod ei gyd tu ag at y Pasc nPen 30, 24
aberthau [sef] i bawb a'r a gafwyd hyd rifedi
deng-mil ar hugain, a thair mil o eidionnau, hyn
[oedd] o gyfoeth y brenin.
8 [o] Ai dywysogion ef a offrymmasant yn ew-
yllyscar i'r bobl, i'r offeiriaid, ac i'r Lefiaid: oLef.7.16 Pen 30, 24
Helcia, a Zacharia, ac Iehiel blaenoriaid tŷ 2Bren.23 4
Dduw a roddasant i'r offeiriaid tu ag at y Pasc †Igyd yn 3,800 o
aberthau ddwy fil, †a chwe chant [o ddefaid,] a fu-tyeb, a 7,000 o
thry chant o eidionnau. fan anifeiliaid,
9 Conania hefyd a Semaiahu, a Nathaneel ei
frodyr ef, Hasabia hefyd, ac Iehiel, ac Iozabad Mic.6,7 8
tywysogion y Lefiaid a offrymmasant i'r Lefi- Sal.51,16 17
aid yn Basc ebyrth bum mil [o ddefaid,] a thry 1Bren.8, 63
chant o eidionnau.
10 [p] Felly y paratoiwyd y gwasanaeth: a'r pPen.30
offeiriaid a safasant yn eu lle, a'r Lefiaid yn eu 16
dosparthiadau, yn ol gorchymyn y brenin.
11 [q] A hwynt a aberthasant y Pasc: a'r offeir- qLef.4.9
iaid a daenellasant y [gwaed wedi ei gymmeryd] Heb 9,22
oi llaw hwynt, a'r Lefiaid oeddynt yn [eu] blingo
[hwynt.]
12 [r] A chymmerasant ymmaith [o'r] poeth off- rLef. 3,4
rwm, iw roddi yn ol dosparthiadau tylwyth 10 Gal 2,6
tadau meibion y bobl, i offrymmu i'r Arglwydd, Act 10, 34
fel y mae yn scrifennedic yn llyfr Moses: ac 1 Tim. 6, 21
felly am yr eidionnau.
13 A hwynt a † rostiasant y Pasc wrth dân †Ex.12.9, 9
yn ol y ddefod, a'r cyssegredic bethau a ferwas- Deut 16,
ant hwy mewn crochanau, ac mewn pedill, ac 8
mewn peiriau, ac [ai] rhannasant ar frys i'r holl
bobl.
14 [s] Wedi hynny y parattoasant hwy iddynt sAct 6,
eu hunain, ac i'r offeiriaid, canys yr offeiriaid 23
meibion Aaron oeddynt yn offrymmu y poeth
offrwm, a'r brasder hyd y nos: am hynny y Lefi-
aid oeddynt yn paratoi iddynt eu hunain, ac i'r
offeiriaid meibion Aaron.
15 A meibion Asaph y cantorion [oeddynt] yn
eu sefyllfa * yn ol gorchymyn Dafydd, ac Asaph, * 1Cron. 25.1
a Heman, ac Ieduthun gweledydd y brenin, a'r a 9,17a26
porthorion yn mhob porth: ni chaent hwy 14
ymado oi gwasanaeth, canys eu brodyr y Lefi-
aid a baratoent iddynt hwy.
16 Felly y paratoiwyd holl wasanaeth yr Ar-
glwydd y dwthwn hwnnw, gan gynnal y Pasc,
ac offrymmu poeth offrymmau ar allor yr Arg-
lwydd, yn ol gorchymyn y brenin Iosia.
17 [t] A meibion Israel y rhai a gafwyd, a gyn- tEx.12.18 1Cor.5,8 uPen.30,
haliasant y Pasc yr amser hwnnw: a gŵyl y 26 2 Bren.
bara croiw saith niwrnod. 23 22
18 [u] Ac ni chynhaliasid Basc fel hwnnw yn 2 Bren. 23,23

Israel er dyddiau Samuel y prophwyd: ac ni
wnaeth neb o frenhinoedd Israel gyffelib i'r
Pasc yr hwn a wnaeth Iosia, a'r offeiriaid, a'r
Lefiaid, a holl Iuda, a'r neb a gafwyd o Israel,
a thrigolion Ierusalem.
19 Yn y ddeunawfed flwyddyn o deyrnasiad
Iosia y cynhaliwyd y Pasc hwnnw.
20 Wedi hyn oll, pan baratoase Iosia y tŷ:
Necho brenin yr Aipht a ddaeth i fynu i ryfela
yn erbyn Carchemis wrth Euphrates: ac Iosia
a aeth allan iw gyfarfod ef.
2 Sam. 21 ᵃ Yntef a anfonodd gennadau atto ef gan
10,9 ddywedyd, Beth [sydd] i mi [a wnelwyf] a thi
Sam 8. O frenin Iuda? nid yn dy erbyn di [y daethum]
heddyw, ond yn erbyn tŷ [arall y mae] fy rhyfel
i, a Duw a archodd i mi fryssio: paid â Duw yr
hwn [sydd] gyd a mi, fel na ddifetho efe di.
1Bren ,30 22 ᵇ Ond ni throe Iosia ei wyneb oddi wrtho
ef, eithr newidiodd ei ddillad i ymladd yn ei er-
byn ef, ac ni wrandawodd ar eiriau Necho [y
rhai oeddynt] o enau Duw: ond efe a ddaeth i
ymladd i ddyffryn Megido.
Bren. 34 23 ᶜ A'r saethyddion a saethasant y brenin Io-
sia: yna y brenin a ddywedodd wrth ei weision,
Dygwch fi ymmaith canys clwyfwyd fi yn dôst.
24 ᵈ Felly ei weision ai tynnasant ef o'r cer-
byd, ac ai gosodasant ef yn yr ail cerbyd yr
hwn [oedd] ganddo ef, dugasant ef hefyd i Ier-
usalem, ac efe a fu farw, ac a gladdwyd ym
meddrod ei dadau: a holl Iuda, ac Ierusalem a
alarasant am Iosia.
25 ᵉ Ieremi hefyd a alar-nadodd am Iosia, a'r
holl gantorion, a'r cantoresau yn eu galar-nadau
a soniant am Iosia hyd heddyw, a hwy ai rhodd-
asant hwynt yn ddefod yn Israel: ac wele
hwynt yn scrifennedic yn y galar-nadau.
26 A'r rhan arall o hanes Iosia ai dduwioldeb
ef: (fel y mae yn scrifennedic yng-hyfraith yr
Arglwydd)
27 ᶠ Ai weithredoedd ef cyntaf a diweddaf:
wele hwynt yn scrifennedic yn llyfr brenhin-
oedd Israel, ac Iuda.

## PEN. XXXVI.

*Teyrnasiad Ioachas, 4 Ioachim, 8 Ioachin, 11 a Sedecia: 17 a chaeth gludiad y bobl i Babilon.*

A ᵇPHOBL y wlad a gymmerasant Ioachaz
fab Iosia:† ac ai hurddasant ef yn frenin yn
lle ei dad yn Ierusalem.
2 Mab tair blwydd ar hugain [oedd] Ioachaz
pan ddechreuodd efe deyrnasu; a thri mis y
teyrnasodd efe yn Ierusalem.
3 ᶜ A brenin yr Aipht ai dug ef ymmaith o
Ierusalem; ac a drethodd ar y wlad gan talent
o arian, a thalent o aur.
4 A'r brenin yr Aipht a wnaeth Eliacim ei frawd
ef yn frenin ar Iuda ac Ierusalem, ac a drodd ei
benw ef yn Ioachim; a Necho a gymmerodd
Ioachaz ei frawd ef, ac ai dug ef i'r Aipht.
5 ᵈ Mab pum mlwydd ar hugain [oedd] Ioa- d 2 Bren. 23, 36
chim pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mly-
nedd ac ddec y teyrnasodd efe yn Ierusalem; ac
efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr
Arglwydd ei Dduw.
6 ᵉ Nabuchodonosor brenin Babilon a ddaeth e 2 Bren.
i fynu yn ei erbyn ef: ac ai rhwymodd ef mewn 24, 10
cadwynau prês iw ddwyn i Babilon. Dan. 1, 1 2 Bren.
7 ᶠ Nabuchodonosor hefyd a ddug o lestri tŷ 24, 1 Ier. 22, 18
'r Arglwydd i Babilon; ac ai rhoddodd hwynt 19
yn ei deml ef o fewn Babilon. f Dan. 1, 2 2 Bren.
8 ᵍ A'r rhan arall o hanes Ioachim, ai ffieidd- 24, 13 g Ier. 22,
dra ef y rhai a wnaeth efe, a'r hyn a gafwyd ar- 24
no ef, wele hwynt yn scrifennedic yn llyfr bren-
hinoedd Israel, ac Iuda; ac Ioachin ei fab ef a
deyrnasodd yn ei le ef.
9 Mab wyth mlwydd [oedd] Ioachin pan
ddechreuodd efe deyrnasu, a thri mis, a deng
nhiwrnod y teyrnasodd efe yn Ierusalem; ac efe
a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-olwg yr Ar-
glwydd.
10 * Ac yng-hyfnod y flwyddyn yr anfonodd y * 2 Bren.
brenin Nabuchodonosor, ac ai dug ef i Babilon 24, 17
gyda llestri cuaidd tŷ'r Arglwydd: ac efe a ur-
ddodd Sedecia ei [ewythr ef] frawd ei dad yn
frenin ar Iuda, ac Ierusalem.
11 Mab un mlwydd ar hugain [oedd] Sedecia
pan ddechreuodd efe deyrnasu: ac un mlynedd
ar ddec y teyrnasodd efe yn Ierusalem.
12 ʰ Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng- h Ier. 27, 8
olwg yr Arglwydd ei Dduw: ac nid ymostyngodd a 1, 7
efe o flaen Ieremi y prophwyd [yr hwn oedd yn
llefaru] o enau'r Arglwydd.
13 ⁱ Ond efe a wrthryfelodd yn erbyn brenin
Nabuchodonosor (yr hwn a wnaethe iddo dyngu i Ier. 52, 3
i Dduw) ac efe a galedodd ei warr, ac a gryfha- Ezra 17, 16, 19
odd ei galon rhac dychwelyd at Arglwydd Act. 7, 51 Deut. 2,
Dduw Israel. 30 Ex. 32, 9
14 Holl dywysogion yr offeiriaid hefyd a'r 2 Bren. 17 14
bobl a chwanegasant gamfucheddu yn ol holl
ffieidd-dra y cenhedloedd: a hwy a halogasant
dŷ'r Arglwydd yr hwn a sancteiddiase efe yn * Ier. 25, 3 a 6, 2
Ierusalem. Diar. 1, 23
15 * Am hyny y Arglwydd Dduw eu tadau hwy Zec 1, 4
a anfonodd attynt hwy drwy law ei gennadau Esa. 5, 3, 4
gan foreu godi, a chan anfon: am ei fod efe yn Ios. 11, 8
tosturio wrth ei bobl, ac wrth ei bresswylfod. Sal. 74, 7
16 ʲ Ond hwyntau oeddynt yn gwatwar cen- j Mat. 21, 35
nadau Duw, ac yn dremygu ei eiriau ef, ac yn Pen 30, 10
dynwared ei brophwydi ef: nes cyfodi o ddig- Ier. 44, 16 17
ofaint yr Arglwydd yn erbyn ei bobl fel nad Mat. 23, 34
oedd iechyd. Pen 21, 18 Esa. 1, 5, 6
17 ᵏ Canys efe a ddygodd i fynu arnynt hwy k Deut. 28, 24
frenin y Caldeaid, yr hwn a laddodd eu gwŷr Ezra 9, 5, 6

ieuaingc hwy a'r cleddyf yn nhŷ eu cyssegr, ac nid arbedodd efe na gŵr ieuangc na morwyn, hên, nac oedrannus: rhoddwyd hwynt oll yn ei law ef.

18 Holl lestri tŷ Dduw hefyd, mawrion a bychain, a thryssorau tŷ'r Arglwydd, a thryssorau y brenin ai dywysogion: y rhai hynny oll a ddûg efe i Babilon.

19 A hwynt a loscasant dŷ Dduw, ac a ddestrowiasant fur Ierusalem: ai holl balâsau hi a loscasant a thân, ai holl lestri cuaf gan [eu] dinistrio [oll.]

20 [l] A'r hyn a weddillwyd gan y cleddyf a gaeth gludodd efe i Babilon: lle y buant hwy yn weision iddo ef, ac i'w feibion nes teyrnasu o'r Persiaid.

21 [m] I gyflawni gair yr Arglwydd [yr hwn a adroddasid] drwy enau Ieremi, nes i'r wlad ei digoni oi Sabbothau: [canys] yr holl ddyddiau [a'r y bu hi] yn anghyfanedd y gorphwysodd hi i gyflawni deng-mhlynedd a thrugain.

22 [n] Ac yn y flwyddyn gyntaf i Cyrus brenin Persia, [fel y cyflawnid gair yr Arglwydd [yr hwn a ddywedyd] drwy enau Ieremi] yr Arglwydd a gyffrodd yspryd Cyrus brenin Persia fel † y cyhoeddodd efe drwy ei holl frenhiniaeth, a hynny mewn scrifen gan ddywedyd,

23 [o] Fel hyn y dywed Cyrus brenin Persia, Arglwydd Dduw'r nefoedd a roddodd holl deyrnasoedd y ddaiar i mi, ac efe a orchymynnodd i mi adailadu tŷ iddo ef yn Ierusalem yr hon [sydd] yn Iuda: pwy yn eich mysc chwi oi holl bobl ef [sydd ar fedr adailadu?] yr Arglwydd ei Dduw [fyddo] gyd ag ef, ac eled i fynu.

# LLYFR CYNTAF ESDRAS.

## PEN. I.

*Cyrus yn gollwng caethion Iuda yn rhydd. 7 Ac yn rhoddi adref lestri y deml.*

YN [a] y flwyddyn gyntaf i Cyrus brenin Persia (i gyflawni gair yr Arglwydd o enau Ieremi) y cyffrôdd yr Arglwydd yspryd Cyrus brenin Persia, fel y cyhoeddodd efe trwy ei holl deyrnas, a [hynny] hefyd mewn scrifen gan ddywedyd,

2 [b] Fel hyn y dywedodd Cyrus brenin Persia, Arglwydd Dduw'r nefoedd a roddes i mi holl deyrnasoedd y ddaiar, ac efe a orchymynnodd i mi adailadu iddo ef dŷ yn Ierusalem, yr hon [sydd] yn Iuda.

3 [c] Pwy bynnac o honoch oi holl bobl ef [a fynno,] bydded ei Dduw gyd ag ef, ac eled i fynu i Ierusalem yr hon [sydd] yn Iuda, ac adailaded dŷ Arglwydd Dduw Israel: dyna'r Duw'r hwn sydd yn Ierusalem.

4 [d] A phwy bynnac a adawyd o'r holl leoedd y rhai y mae efe yn ymdeithio ynddynt, † cynnorthwyed gwŷr ei wlad ef ag arian, ac ag aur, ac a golud, ac ag anifeiliaid, gyd ag ewyllyscar offrwm tŷ Dduw, yr hwn [sydd] yn Ierusalem.

5 [e] Yna y cododd pennau cenedl Iuda a Beniamin, a'r offeiriaid a'r Lefiaid, a phob un y cyffrodd Duw ei yspryd, i fyned i fynu i adailadu tŷ yr Arglwydd yr hwn [oedd] yn Ierusalem.

6 [f] A'r rhai oll oi hamgylch ai cynnorthwyasant hwy a llestri arian, ac aur, a golud, ac ag anifeiliaid, ac a phethau gwerth-fawr heb law'r hyn oll a offrymmwyd yn ewyllyscar.

7 A'r brenin Cyrus a ddug allan lestri tŷ'r Arglwydd * y rhai a ddugase Nabuchodonosor allan o Ierusalem, ac a roddase efe yn nhŷ ei dduwiau ei hun.

8 [g] Felly Cyrus brenin Persia ai dug hwynt allan trwy law Mithridates y tryssorudd, ac ai rhifodd hwynt at Sesbazer pennaeth Iuda.

9 [h] Ac dymma eu rhifedi hwynt, dêc ar hugain o gawgiau aur, mil o gawgiau arian, naw ar hugain o gyllill.

10 [i] Dêc ar hugain o orflychau aur, dec a phedwar cant o ail fath o orflychau arian, [a] mil o lestri eraill.

11 Yr holl lestri yn aur, ac yn arian [oeddynt] bum mil a phedwar cant: Sesbazer a ddug y cwbl i fynu wrth ddwyn y gaeth-glud o Babilon i aerusalem.

## PEN. II.

*Rhifedi y rhai a ddychwelasant o gaethiwed Babilon.*

AC * dymma feibion y dalaith y rhai a ddaethant i fynu o gaethiwed y gaeth-glud, yr hon a gaeth-gludase Nabuchodonosor brenin Bebilon i Babilon, ac a ddychwelsant i aerusalem, ac auda: pob un iw ddinas ei hun.

2 [j] Y rhai a ddaethant gyd a Zorobabel,

[oeddynt] Iesua, Nehemiah, Saraiah, Rehesaia,
Mardocheus, Bilsan, Mispar, Biguai, Rehum,
[a] Baanah. [Dymma] rifedi gwŷr pobl Israel.
3 Meibion Pharos [oeddynt] ddwy fil, [a] deu-
ddec ac wyth ugain.
4 Meibion Sephatia, try-chant, [a] deuddec a
thri ugain.
5 Meibion Arah: saith gant, a phymthec a
thrugain.
Edr. 6 Meibion Pahath Moab, o feibion Iesua [ac]
Neh.pen Ioab: dwy fil, wyth gant, a deuddec.
7 Meibion Elam: mil, dau cant, [a] phedwar
ar ddec a deugain.
8 Meibion Zathu: naw cant, a phump a deu-
gain.
9 Meibion Zaccai: saith gant, a thri ugain.
10 Meibion Bani: chwe-chant, dau a deugain.
11 Meibion Babai: chwe-chant, a thri ar hugain
12 Meibion Asgad: mil, dau cant a dau ar
hugain.
13 Meibion Adonicam: chwe-chant, a chwech
a thrugain.
14 Meibion Biguai: dwy fil, ac onid pedwar
trugain.
15 Meibion Adin, pedwar cant, a phedwar ar
ddec a deugain.
16 Meibion Ater o Hezecia: onid dau pum
hugain.
17 Meibion Bezai try chant, a thri ar hugain.
18 Meibion Iora: cant, a deuddec.
19 Meibion Hasum: dau cant a thri ar hugain.
20 Meibion Gibbar: pymthec a phedwar
ugain.
Barn.17 21 [k] Meibion Bethlehem: cant a thri ar hugain.
22 Gwŷr Netopha: onid pedwar trugain.
es.21 18 23 [l] Gwŷr Anathoth: cant, ac wyth ar hugain.
7,27 24 Meibion Asmafeth: dau a deugain.
25 [m] Meibion Ciriathiearim, Cephira, a Beer-
Ios. 9, oth: seith gant, a thri a deugain.
26 [n] Meibion Harama, a Gaba: chwe-chant,
Ios. 18, ac un ar hugain.
27 Gwŷr Michmas: cant a dau ar hugain.
Ios. 18 28 [o] Gwŷr Bethel, a Hai: dau cant a thri ar
hugain.
Nu. 32, 29 [p] Meibion Nebo: deuddec a deugain.
30 Meibion Magbis: cant ac onid pedwar tri
ugain.
31 Meibion Elam arall: mil, dau cant, a phed-
war ar ddec a deugain.
32 Meibion Haarim: try-chant, ac ugain.
33 Meibion Lod, Hadid, ac Ono: seithgant,
a phump ar hugain.
Ios. 9,1 34 [q] Meibion Iericho: try-chant, a phump a
6, 1 deugain.
35 Meibion Senaa: tair mil, a chwe-chant, a
dec ar hugain.

36 [r] Yr offeiriaid meibion Iedaia, o dŷ Iesua: r 1 Cron.
naw cant, dec a thri ugain a thri. 25, 1
37 [s] Meibion Immer: mil a deuddec a deugain. s 1 Cron.
38 [t] Meibion Phasur: mil, dau cant, a saith a 24. 14 t 1 Cron 9
deugain. 12 Ios. 1,41
39 [u] Meibion Arim: mil a dau ar bymthec. u 1 Cron.
40 [v] Y Lefiaid, meibion Iesua, a Chadniel o 24, 8 v 1 Cron.
feibion Hodafia: pedwar ar ddec a thrugain. 25, 1 Neh. 4,12
41 [w] Y cantoriaid meibion Asaph: cant ac a 9, 4 a 10, 9
wyth ar hugain. w 1 Cron
42 [x] Meibion y porthorion [sef] meibion Sa- 25, 1 x 1 Cron.
lum, meibion Ater, meibion Talmon, meibion 26, 1 a 9, 17
Accub, meibion Hattita, a meibion Sobai [oedd- Ios. 9,21
ynt] oll gant, ac onid un deugain. 23
43 Y Nethiniaid [oeddynt] feibion Ziha, mei-
bion Asupha, meibion Tabaoth.
44 Meibion Ceros, meibion Siaha, meibion
Padon.
45 Meibion Lebanah, meibion Hagabath,
meibion Accub.
46 Meibion Hagab, meibion Semlai, meibion
Hanan.
47 Meibion Gidel, meibion Gahar, meibion
Reaiah.
48 Meibion Razin, meibion Nechoda, meibion
Gasam.
49 Meibion Uzza, meibion Paseah, meibion
Besai.
50 Meibion Asnah, meibion Mehunim, meib-
ion Nephusim.
51 Meibion Bacbuc, meibion Hacuba, meib-
ion Harhur.
52 Meibion Bazluth, meibion Mehida, meib-
ion Harsa.
53 Meibion Barcos, meibion Sisara, meibion
Thamah.
54 Meibion Nesiah, meibion Hatipha.
55 [y] Meibion gweision Salomon, meibion Soc- y 1 Br.
ai, meibion Sophereth, meibion Peruda.
56 Meibion Iaala, meibion Darcon, meibion
Gidel.
57 Meibion Sephatiah, meibion Hattil, meib-
ion Pocereth Hazbaim, meibion Amis
58 [z] Yr holl Nethiniaid, a meibion gweision z Ios 9,21
Salomon [oeddynt] dry chant, deuddec a phed- 1 Cron. 7
war ugain. 17 Zec. 9, 7
59 [a] A'r rhai hyn a aethant i fynu o Delmalah, a 1 Pedr
Delharsa, Cerub, Adan [ac] Immer: ond ni 1, 1
fedrent adnabod dŷ eu tadau, nai hiliogaeth, ai o
Israel [yr oeddynt] hwy.
60 Meibion Delaia, meibion Tobia, meibion
Necoda, chwe-chant, a deuddec a deugain.
61 [b] Ac o feibion yr offeiriaid, meibion Habaia, b 2 Sam.
meibion Acos, meibion Berzilai, yr hwn a gy- 17, 27 a 19, 3
merase wraig o ferched Berzilai y Gileadiad, ac
a alwasyd ar eu henw hwynt.

iasant eu scrifennadau
ni chafwyd hwynt: am
t allan o'r offeiriadaeth
a ddywedodd wrthynt,
u sancteiddiaf hyd oni
† Urim a Thummim.
yd[oedd] bedair myrdd-
thri ugain.
sion, ai morwynion y
ith mil, try-chant, a dau
: ac o honynt hwy [yr
orion, ac yn gantoresau.
nt] saith gant, ac onid
nulod yn ddau cant, ac

dwar cant, ac yn bym-
yunod yn chwe mil, saith

nedl pan ddaethant i dŷ
edd] yn Ierusalem.[rhai]
th eu hun tu ag at dŷ'r
ei le.
l eu gallu i dryssor-dŷ'r
n, a mil o ddracmonau
moedd arian: a chant o

'r Lefiaid, ac o'r bobl y
n, a'r Nethiniaid a di-
: a holl Israel yn eu di-

. III.

*Frwm y bobl, tu ag at waith y*
*i Dduw am gael ei hadailadu.*

thfed mis, a meibion Is-
oedd: yna'r bobl a ym-
megis un gŵr.
esua mab Iosadac, ai fro-
obabel mab Salathiel, ai
nt allor Duw Israel i off-
poeth, fel yr scrifennas-
gŵr Duw.
ant yr allor yn ei lle (ca-
n pobl y wlad) ac a off-
ffrymmau i'r Arglwydd:
mmasant] boeth offrym-

vyl y pebyll, fel y mae yn
h aberth beunydd tann
ogn dydd yn ei ddydd,
poeth offrwm gwastadol,
dd loerau, a holl sanct-
Arglwydd, offrwm ew-
mme o honaw ei hun [a
vydd.
seithfed mis y dechreu-
asant offrymmu poeth offrymmau i'r Arglwydd,
a theml yr Arglwydd ni sylfaenasid.
7 [m] Yna y rhoddasant arian i gymmyn-wŷr, ac m1Bren. 5.6
i seiri, a bwyd a diod, ac olew i'r Sydoniaid, ac Dat.h.s
i'r Tyriaid, am ddwyn coed cedr o Libanus 2Sam.7.
hyd y môr i Ioppa: yn ol cennadhâd Cyrus bre- 1Bren.4, 33
nin Persia iddynt hwy. Iosua 1,3 Act. 9,36
8 Ac yn yr ail flwyddyn wedi eu dyfod hwynt
i dŷ Dduw i Ierusalem yn yr ail mis y dechreu-
odd Zorobabel mab Salathiel, ac Iesua mab
Iosadac, a'r rhan arall oi brodyr hwynt, yr off-
eiriaid, a'r Lefiaid, a'r rhai oll a ddaethant o'r
caethiwed i Ierusalem, ac a osodasant y Lefiaid
o fab ugain mlwydd ac uchod i oruwchwilio ar
waith tŷ'r Arglwydd.
9 [n] Yna y safodd Iesua ai feibion, ai frodyr, n1Bren. 23,1
Cadmiel hefyd, ai feibion, [sef] meibion Iuda yn
gydtûn i oruchwilio ar weith-wŷr y gwaith yn
nhŷ Dduw, [a] meibion Henadad, ai meibion
hwythau, ai brodyr y Lefiaid.
10 [o] A'r seiri a sylfaenasant deml yr Arglwydd, o1Cron. 15,8
ac a osodasant yr offeiriaid yn eu gwiscoedd, a10,6
ag udcyrn, a'r Lefiaid meibion Asaph a Sym-
balau i foliannu'r Arglwydd yn ol dull Dafydd
brenin Israel.
11 [p] A chanasant wrth foliannu, ac wrth glod- p2Cron. 5,13
fori yr Arglwydd, mai dâ oedd, mai yn dragy- Sal. 5,11
wydd [yr ydoedd] ei drugaredd ef ar Israel:
a'r holl bobl a floeddiasant a bloedd fawr, gan
foliannu yr Arglwydd am sylfaenu tŷ'r Arg-
lwydd.
12 [q] A llawer o'r offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r pen- qHag. 2,3
nau cenedl hynaf y rhai a welsent y tŷ cyntaf Zec.4,
ar ei sylfaen [a'r] tŷ hwn yn eu golwg, a ŵylas- Iob 8,7 Mat.13,
ant â llêf uchel: a llawer oeddynt yn derchafu 31 Dan. 2,
llef mewn bloedd gorfoledd. 35 Mat.
13 Ac nid oedd y bobl yn anabod sain bloedd Neh. 8,
y llawenydd oddi wrth sain ŵylofain y bobl: 45 1Bren.
canys y bobl oeddynt yn bloeddio a bloedd 40
fawr, a'r sŵn a glywid ym mhell.

## PEN. IV.

*Rhai yn rhwystro gwaith y deml, eu llythyrau hwynt at Artaxerxes, ai atteb yntef.*

YNA [r] gwrthwyneb-wyr Iuda, a Beniamin rPen.3, 13
a glywsant fod meibion y gaeth-glud yn 2Bren. 24
adailadu teml i Arglwydd Dduw Israel. Mat. 4,
2 [s] Ac a ddaethant at Zorobabel, ac at y pen- 2 Pen.3,
nau cenedl, ac a ddywedasant wrthynt, Adail- 13 s1Bren. 18,17
adwn gyd a chwi: canys fel chwithau i ceisiwn Pen.
eich Duw chwi, ac iddo ef yr ydym ni yn a5,12 Est.3,
aberthu er dyddiau Esarhadon brenin Assyria'r 2Bren. 29
hwn a'n dug ni i fynu ymma. Dat. 21
3 [t] Yna y dywedodd Zorobabel, ac Iesua, a'r 2Bren. 37
rhan arall o bennau cenedl Israel wrthynt, Nid tMat. 16
[yw] i chwi ac i ninne adailadu tŷ ein Duw ni:
eithr nyni a gyd adailadwn i Arglwydd Dduw

Mat. 3,1 Ier. 10,7 Esa. 29, 14 Dan. 12 13 ʲ Yna y dywedodd y brenin wrth y doeth-
ion [y rhai] oeddynt yn gwybod yr amserau:
(canys felly ['r hysbyssid] achosion y brenin ger
1Cron.12 32 bron yr holl rai a fyddent yn gwybod cyfraith,
a barn.
1Bren.12 10 Diar. 8, 4,15 Esra7, 14 Diar. 11 14 2Bren.25 19 14 ᵏ A nesaf atto ef [oedd] Carsena, Sethar,
Admatha, Tharsis, Meres, Marsena, [a] Me-
mucan: saith dywysog Persia, a Media y rhai
oeddynt yn gweled wyneb y brenin, [ac] yn
eistedd yn gyntaf yn y frenhiniaeth)
Mal.2,14 15 ˡ Beth sydd im' wneuthur wrth y gyfraith
i'r frenhines Fasthi, am na wnaeth hi archedig-
aeth y brenin Ahasferus [yr hwn a anfonase
efe] drwy law y stafellyddion?
1Cor.6 8 16 ᵐ Yna Memucan a ddywedodd ger bron y
brenin, A'r tywysogion: nid yn erbyn y brenin
yn unic y gwnaeth Fasthi y frenhines ar fai:
onid yn erbyn yr holl bobloedd y rhai [ydynt]
drwy holl dalaithau y brenin Ahasferus.
Eph. 5, 17 ⁿ Canys gweithred y frenhines a aiff allan
at yr holl wragedd, fel y dremygant eu gŵyr
yn eu golwg eu hun: pan ddywedant, Y brenin
Ahasferus a archodd gyrchu Fasthi y frenhines
oi flaen ef, ond ni ddaeth hi.
18 Arglwyddesau Persia, a Media y rhai a
glywsant weithred y frenhines a ddywedant,
Heddyw bellach wrth holl dywysogion y brenin:
felly [y bydd] mwy na digon o ddirmig, a digter
[i ni.]
Diar.18 19 ᵒ Os bydd bodlon gan y brenin, eled bren-
hinawl orchymyn oddi wrtho ef, ac scrifenner
efym mysc cyfreithiau y Persiaid, a'r Mediaid,
ac na throssedder ef: am na ddaeth Fasthi ger
bron y brenin Ahasferus, am hynny rhodded y
brenin ei brenhiniaeth hi iw chyfeillES yr hon
sydd well na hi.
Pede 20 ᵖ Pan glywer gorchymyn y brenin (yr hwn
a wnelo efe) drwy ei holl frenhiniaeth yr hon
sydd fawr: yna'r holl wragedd a roddant an-
rhydedd iw gŵyr o'r mwyaf, hyd y lleiaf.
21 A dâ fu'r peth yng-olwg y brenin, a'r tyw-
ysogion: a'r brenin a wnaeth ar ol gair Me-
mucan.
Eph. 5 22 ᑫ Canys efe a anfonodd lythyrau i'r holl
Ne 16,8 dalaithau y brenin, ie i bob talaith yn ol ei scrifen
hi, ac at bob pobl yn ol eu tafodiaith eu hun:
ar fod pob gwr yn arglwyddiaethu yn ei dŷ ei
hun, a thraethu [o bawb hyn] yn ol tafodiaith
ei bobl.

## PEN. II.

*Y brenin yn peri cyrchu iddo ef y gweryfon, neu morwynion teccaf yn y wlad. 14 Ac yn hoffi Esther yn fwyaf.*

WEDI ʳ y pethau hyn, pan lonyddodd
ddigllonedd y brenin Ahasferus, efe a
Gen.8,8 ... gofiodd am Fasthi, ac am yr hyn a wnelse hi,
...1,10 ac am yr hyn a farnasid arni.

2 ˢ Am hynny llangciau'y brenin [sef] ei wenid- sPen1.16 Can. 4, 7
ogion ef a ddywedasant, Ceisier i'r brenin Eph 5,26
langcesau teg yr olwg [y rhai ydynt] weryfon,
3 ᵗ A gosoded y brenin swyddogion drwy holl
dalaithau ei frenhiniaeth ef, a chasclant hwythau tEsa 5 13 23
bob llangces deg yr olwg, [a'r y sydd] weryf, i Eph.5,26
Susan y brenin-lys i dŷ y gwragedd, tann law
Hege stafelludd y brenin, ceidwad y gwragedd:
yr hwn a ddyru iddynt eu gwychter.
4 ᵘ A'r llangces yr hon fyddo da yng-olwg y u1Sam.8 8
brenin a deyrnasa yn lle Fasthi: a da oedd y
peth hyn yng-olwg y brenin, ac felly y gwnaeth
efe.
5 ᵛ Yn Susan y brenhin-lys yr oedd rhyw Idd- vEzr.2,1
ew, ai enw Mordoceus mab Iair, fab Simei, fab
Cis, gwr o Iemini,
6 Yr hwn a drosgludasid o Ierusalem gyd a'r
gaeth-glud yr hon a gaeth-gludasid gyd ag * 2Bren.
* Ieconiah brenin Iuda: yr hon a barase Na- 24,6,15
buchodonosor brenin Babilon ei chaeth-gludo.
7 ʷ Ac efe a fagase Hadassa, honno [yw] wEph. 6 4
Esther, merch ei ewythr ef frawd ei dad, canys Ioan14.18
nid [oedd] iddi dad, na mam: a'r llangces [oedd] Esa 27 10
weddaidd-lwys, a chlaer-deg [mewn] golwg, a 1Tim.5,8
phan fuase ei thad, ai mam hi farw, Mordoceus
ai cymmerase hi yn ferch iddo.
8 A phan gyhoeddwyd gair y brenin, ai gyf-
raith, pan gasclasid hefyd langcesau lawer i Su-
san y brenhin-lys tann law Hegai: yna y cym-
merwyd Esther i dŷ y brenin tann law Hegai
ceidwad y gwragedd.
9 ˣ A'r llangces oedd deg yn ei olwg ef, ac x Dan. 1 9
hi a gafodd ffafor ganddo ef, am hynny efe ar Neh. 2, 8
frys a barodd roddi iddi ei gwychter, ai rhan- Sal. 106, 46
nau, a rhoddi iddi saith o langcesau golygus o Diar. 16 7
dŷ'r brenin: ac efe ai symmudodd hi, ai llangc- Gen. 39 21
esau i'r [fann] oref [yn] nhŷ y gwragedd. 1Bren. 8, 50
10 ʸ [Ond] ni fynegodd Esther ei phobl, na'i yMat 10 1
chenedl: canys Mordoceus a orchymynnase Sal. 6,11
iddi nad yngene [hynny.]
11 ᶻ A Mordoceus a rodiodd beunydd o flaen zIoan 10 23
cyntedd tŷ'r gwragedd, i wybod llwyddiant
Esther, a pheth a wnelyd iddi.
12 ᵃ A phan ddigwydde amser pob llangces i a1Thes.4 4
fyned i mewn at y brenin Ahasferus wedi bod Pen 6,13
iddi hi yn ol defod y gwragedd ddeuddeng-mis, a 4, b
canys felly y cyflawnyd dyddiau eu puredig-
aethau hwynt: chwe mis mewn olew myrh, a
chwe mis mewn pêr-aroglau, a gwychter y gwr-
agedd.
13 Ac fel hyn y deue y llangces at y brenin:
pa beth bynnac a ddywede hi [am dano] a rodd-
id iddi, i fyned gyd a hi o dŷ'r gwragedd hyd
dŷ'r brenin.
14 Gyd a'r hwyr hi a ddeue i mewn, a'r borau
hi a ddychwele i dŷ arall y gwragedd tann law

Saasgaz stafelludd y brenin, ceidwad y gordd-
erchadon: ni ddeue hi i mewn at y brenin mwy-
ach, ond os chwennyche'r brenin hi, yna y gel-
wid hi wrth [ei] henw.
bSal. 105 15 [b] Pan ddigwyddodd amser Esther (merch
20 a 131, 1 Abihail ewythr Mordoceus yr hon a gymmerase
efe yn ferch iddo,) i fyned i mewn at y brenin,
ni cheisiodd hi ddim ond yr hyn a ddywedase
Hegai stafelludd y brenin ceidwad y gwragedd:
ac Esther oedd yn cael ffafor yng-olwg pawb
a'r a oedd yn edrych arni.
cSal.113, 16 [c] Felly Esther a gymmerwyd at y brenin
7, 8 Pen 3, 7 Ahasferus iw frenhin-dŷ ef yn y decfed mis
hwnnw [yw] mis Tebeth: yn y seithfed flwydd-
yn oi deyrnasiad ef.
dDiar 21 17 [d] A'r brenin a hoffodd Esther rhagor yr
1 † Heb. holl wragedd, a hi a gaflodd ffafor, a thrugaredd
• flaen ei yn ei †wydd ef rhagor yr holl weryfon: ac efe a
lygaid, Luc 1,48 osododd deyrn-goron ar ei phen hi ac ai gwnaeth
Diar. 5 17, 20 yn frenhines yn lle Fasthi.
Sal 113,7 18 [e] Yna y gwnaeth y brenin wledd fawr iw
1Sam.2,8 ePen 1.3 holl dywysogion, ai weision, sef gwledd Esther:
Gen. 29 22 ac efe a wnaeth rydd-did i'r talaithau, ac a rodd-
Sal.68,18 Eph. 4,8 odd rannau yn ol gallu y brenin.
19 Pan gasclwyd y gweryfon yr ail waith:
yna Mordoceus oedd yn eistedd ym mhorth y
brenin.
20 [f] Nid oedd Esther yn mynegu ei chenedl,
fSal. 131 nai phobl, megis y gorchymynnase Mordoceus
1 iddi: canys Esther oedd yn gwneuthur yr hyn
a ddywede Mordoceus fel [cynt pan] oedd hi
yn ei meithrino gyd ag ef.
21 [g] Yn y dyddiau hynny pan oedd Mordo-
ceus yn eistedd ym mhorth y brenin: yna y
g 1 Sam 24, 6 llidiodd Bigthan, a Theres dau o stafellyddion
a 26, 9 y brenin, [sef] o'r rhai oeddynt yn cadw y tro-
Sal. 144 10 thwy, a cheisiasant estyn llaw yn erbyn y brenin
Ahasferus.
22 [h] A'r peth a hyspysswyd i Mordoceus, ac
hDiar. 8 efe ai mynegodd i Esther y frenhines: ac Esther
12 ai dywedodd wrth y brenin yn enw Mor-
doceus.
iGen. 4 23 [i] A phan chwiliwyd y peth, yna efe a gaf-
19 wyd [felly,] am hynny y crogwyd hwynt ill dau
Pen6,1,2 ar bren: ac scrifennwyd [hynny] mewn llyfr
Cronicl ger bron y brenin.

## PEN. III.

*Haman yn ceisio difetha yr holl Iddewon, am na pharchase Mordoceus ef.*

jSal 12.8 WEDI [j] y pethau hyn, y brenin Ahasferus
Mat. 5,15 a fawrhaoedd Haman fab Hammedatha
1 Sam. 15. 8 yr Agagiad, ac ai derchafodd ef: gosododd
Num. 24 7 hefyd ei orseddfaingc ef goruwch yr holl dyw-
Diar. 29 2 ysogion y rhai [oeddynt] gyd ag ef.
k Pat 13 2 [k] A holl weision y brenin y rhai [oeddynt]
2 Sal. 15, 4 ym mhorth y brenin oeddynt yn ymgrymmu,
ac yn ymostwng i Haman, canys felly y gorch-
ymynnase'r brenin am dano ef: ond nid ym-
grymmodd Mordoceus, ac nid ymostyngodd.
3 [l] Yna gweision y brenin y rhai [oeddynt] ym lEx. 1,17
mhorth y brenin, a ddywedasant wrth Mordoc-
eus: Pa ham yr ydwyt ti yn trosseddu gorch-
ymyn y brenin?
4 [m] Ac er eu bod hwy beunydd yn dywedyd m Diar.
wrtho ef [fel hyn,] etto ni wrandawe efe arnynt 19 27 Eze. 
hwy: am hynny y mynegasant i Haman i edrych 9 Phil.1.28
a safe geiriau Mordoceus, canys efe a fynegase Deut. 6
wrthynt mai Iddew [ydoedd] efe. 13
5 [n] Pan welodd Haman nad oedd Mordoc- n Dan. 3
eus yn ymgrymu, nac yn ymostwng iddo: yna 19
Haman a lawnwyd o ddigllonedd.
6 [o] Er hynny diystyr oedd ganddo yn ei olwg oSal.83,4
ei hun estyn llaw yn erbyn Mordoceus eu
hunan (canys mynegasent iddo [pwy oedd]
bobl Mordoceus) am hynny Haman a geisiodd
ddifetha'r holl Iddewon y rhai [oeddynt] drwy
holl frenhiniaeth Ahasferus, [sef] pobl Mor-
doceus.
7 [p] Yn y mis cyntaf (hwnnw [yw] Nisan) yn y p Gen. 7
ddeuddecfed flwyddyn i'r brenin Ahasferus: 11 Pen.9,24
efe a barodd fwrw Pwr (hwnnw [yw] y coel- a 9, 11 Exec. 2
bren) ger bron Haman o ddydd i ddydd, ac o 21
fis i fis [hyd] y deuddecfed [mis] hwnnw [yw]
mis Adar.
8 [q] Yna Haman a ddywedodd wrth y brenin
Ahasferus, Y mae rhyw bobl wascaredic, a qEx.1,9 Deut.
gwahanedic ym mhlith y bobloedd, drwy holl Ioan 18 36
dalaithau dy frenhiniaeth: ai cyfreithiau hwynt Ier. 29
sy yn ymrafaelio oddi wrth [gyfraith] yr holl Ex. 1,10
bobl, ac nid ydynt yn gwneuthur [ar ol] cyf-
reithiau y brenin, am hynny nid buddiol i'r
brenin eu dioddef hwynt.
9 [r] O bydd bodlon gan y brenin, scrifenner am r 1 Cor
eu difetha hwynt: a deng mil o dalentau arian 22, 14
a dalaf ar ddwylo y rhai a wnant y weithred
hon, iw dwyn i dryssorau y brenin.
10 [s] Yna y tynnodd y brenin ei fodrwy oddi s Pen 8,1
am ei law: ac ai rhoddes i Haman fab Ham- Gen. 41
medatha yr Agagiad gwrthwyneb-wr yr Idd- 42 Pen 7,6
ewon.
11 [t] A'r brenin a ddywedodd wrth Haman, t Sal.
Rhodder yr arian i ti: a'r bobl i wneuthur a 3 Ioan 18
hwynt fel y byddo da yn dy olwg. 10
12 [u] Yna y galwyd scrifennyddion y brenin yn Sal 
y mis cyntaf, ar y trydydd dydd ar ddec o'r Ezec. 1.
[mis] hwnnw, ac yr scrifennwyd yn ol yr hyn u Hebr
oll a orchymynnase Haman at bendefigion y 11, 8
brenin, ac at y dugiaid y rhai [oeddynt] ar bob
talaith, ac at dywysogion pob pobl, i bob talaith,
yn ol ei scrifen, ac [at] bob pobl yn ol eu tafod-
iaith: yn enw y brenin Ahasferus yr scrifennas-
id, ac a modrwy y brenin y seliasid [hyn.]

vRhuf.3, 15 2Cron.30 6 Sal.83,41 1Sam. 22 18 Mat.2,16 Sal. 36, 4 Iago2 13 Iob 39,30 13 [v] A'r llythyrau a anfonwyd gyd a'r rhedeg-
wyr i holl dalaithau y brenin: i ddinistio, i
ladd, ac i ddifetha'r holl Iddewon yn ieuangc ac
yn hen, yn blant, ac yn wragedd mewn un dydd,
[sef] ar y trydydd [dydd] ar ddec o'r deuddec-
fed mis (hwnnw [yw] mis Adar:) ac i sclyfaethu
eu hyspail hwynt.
14 Testyn yr scrifen [oedd] gosod cyfraith ym
mhob talaith yn eglur i'r holl bobloedd: i fod
yn barod erbyn y diwrnod hwnnw.
wIoan 16 20 Dat. 11 10 Mat.14,6 Gen. 37, 25 Pen 4,14 a8, 15 15 [w] Y rhedeg-wyr a aethant wedi eu cym-
mell drwy air y brenin, a'r orchymyn a rodd-
asid yn Susan y brenhin-lys: y brenin hefyd, a
Haman a eisteddasant i yfed, a dinasyddion
Susan oeddynt yn athrist.

## PEN. IV.

*Mordoceus yn mynegu i Esther beth a ddychymygasid yn erbyn yr Iddewon gan ei hannog hi i geisio ymwared iddynt hwy. 16 Hithe yn erchi iddynt hwy ymprydio, a gweddio trosti hi.*

xPen 3,8 9, 10 Ioel 2, 13 Iona 3, 4 Ios. 6, 7 Gen. 37 34 PAN [x] wybu Mordoceus yr hyn oll a wnel-
sid, yna Mordoceus a rwygodd ei ddillad,
ac a wiscodd sach-liain a lludw: ac a aeth allan
i ganol y ddinas, ac a waeddodd a chwerw lef
uchel.
2 Ac efe a ddaeth hyd o flaen porth y brenin:
ond ni [cheid] dyfod i borth y brenin mewn
gwisc o sach.
ySal.12,5 Zec. 18,9 3 [y] Ac ym mhob talaith, [a] lle, a'r y daethe
gair y brenin ai orchymyn [iddo, yr oedd] galar
mawr gan yr Iddewon, ac ympryd, wylofain
hefyd, ac oer-nad: sach-liain, a lludw a danasid
ar laweroedd.
zRhuf. 2 7 4 [z] Yna llangcesau Esther, ai stafellyddion hi
a ddaethant, ac a fynagasant [hynny] iddi hi,
a'r frenhines a dristaodd yn ddirfawr: a hi a
ddanfonodd wiscoedd i ddilladu Mordoceus, ac
i dynnu ymmaith ei sach liain ef oddi am dano,
ond ni chymmere efe [hwynt.]
aRhuf.12 15 Heb 13,3 Iob 23, 2 5 [a] Am hynny Esther a alwodd ar Hathac
[un] o stafellyddion y brenin, yr hwn a osodase
efe [i wasanaethu] oi blaen hi, a hi orchymynnodd
iddo am Mordoceus, fynnu gwybod pa beth
[oedd] hyn, ac am ba beth [yr ydoedd] hyn.
b Tit. 2 30 6 [b] Yna Hathac a aeth at Mordoceus i heol y
ddinas, yr hon [sydd] o flaen porth y brenin.
cPen.3,9 7 [c] A Mordoceus a fynegodd iddo'r hyn oll a
ddigwyddase iddo ei hun: ac hysbysrwydd am
yr arian y rhai a ddywedase Haman y tale efe
[hwynt] i dryssorau y brenin yn erbyn yr Idd-
ewon iw difetha hwynt.
d Esa. 1 21 1Thes. 5 27 2Tim.4,1 1 Bren. 8 28 Diar. 1, 15 8 [d] Ac efe a roddodd iddo destyn scrifen yr
gorchymyn yr hwn a osodasid yn Susan (am
beri eu dinistrio hwynt) iw ddangos i Esther,
ac i fynegu iddi: ac i orchymyn iddi fyned i
mewn at y brenin i ymbil ag ef, ac i ymnhedd oi
flaen ef dros ei phobl:

9 [e] Yna Hathac a ddaeth, ac a fynegodd i Es- e Act. 2 27 Ier.23,28
ther eiriau Mordoceus.
10 [f] Ac Esther a ddywedodd wrth Hathac, f Esa. 40 29
ac a orchymynnodd iddo [ddywedyd] wrth
Mordoceus,
11 [g] Holl weision y brenin, a phob talaithau y g1Cor. 7 5 Pen. 5, 1 1 Bren. 3 16 Dan. 2,9 Pen 5, 2 1Cor.7,4 5
brenin ydynt yn gwybod mai pa ŵr bynnac, neu
wraig a'r a ddelo i mewn at y brenin i'r cyntedd
nesaf i mewn heb ei alw, ei unic gyfraith ef
[yw] ei farwolaethu oddieithr yr hwn yr estyn-
no'r brenin y deyrn-wialen aur iddo, fel y
byddo byw: ac ni'm galwyd i ddyfod i mewn
at y brenin bellach [er] ys deng-nhiwrnod ar
hugain.
12 Pan fynegasant hwy i Mordoceus eiriau
Esther,
13 [h] Yna Mordoceus a ddywedodd am iddynt hDiar.29 25 a 30, 24
atteb Esther [fel hyn:] Na feddwl yn dy galon
y diengi di [yn] nhŷ'r brenin rhagor yr holl
Iddewon.
14 [i] O herwydd os tewi a son a wnei di y pryd i Esa. 49 23 Iob 9, 18 Heb. 13, 5 Zec. 2,5, 8 Tit. 1, 2
hyn, cyssur ac ymwared a gyfyd i'r Iddewon o
le arall, tithe hefyd a thŷ dy dad a gyfrgollir:
a phwy sydd yn gwybod ai o herwydd y fath
amser a hwn y daethost ti i'r frenhiniaeth?
15 Yna Esther a ddywedodd am atteb Mor- Gen.22,8 Barn. 5 23
doceus [fel,]
16 [j] Dos di, [a] chasgl yr holl Iddewon y rhai Ezec. 1 16 jAct.12,5 Ios.24,15 Mat. 16 24 Gen. 43 14 Heb. 11 24
a geffir yn Susan, ac ymprydiwch drosofi, na
fwytewch hefyd, ac nac yfwch [dros] dri-diau
nos na dydd, minne hefyd a'm llancesau a ym-
prydiaf felly: ac yna'r af i mewn at y brenin, yr
hwn [beth] nid yw gyfraithlon, ac o derfydd am
danaf, darfydded am danaf.
17 [k] Felly Mordoceus a aeth ymmaith: ac a kEsa. 11 6
wnaeth yn ol yr hyn oll a orchymynnase Esther
iddo ef.

## PEN. V.

*Esther yn hyderu myned at y brenin, ac yn ei wahodd ef, ac Haman i wledd. 14 Haman yn peri gwneuthur croc pren i Mordoceus.*

AR [l] y trydydd dydd Esther a ymwiscodd lPen4,16 Act. 10,4 1Pedr 3, 3, 5 Pen 4,11
[mewn] brenhinawl [wiscoedd,] ac a saf-
odd yng-hyntedd tŷ'r brenin o'r tu fewn, ar
gyfer tŷ'r brenin: a'r brenin oedd yn eistedd ar
ei deyrn-gader yn y brenhin-dŷ gyferbyn a
drws y tŷ.
2 [m] A phan welodd y brenin Esther y frenhin- m Diar. 21, 1
es yn sefyll yn y cyntedd, hi a gafodd ffafor yn
ei olwg ef: am hynny y brenin a estynnodd y Pen 4 11
deyrn-wialen aur, yr hon [oedd] yn ei law ef tu Sal.116,1
ag at Esther, ac Esther a nessaoedd, ac a Col. 3,19
gyffyrddodd a phenn y deyrn-wialen.
3 [n] Yna y brenin a ddywedoedd wrthi, Beth n Zec. 1 13
[sydd] gennit ti y frenhines Esther? a pha beth Ioan 6,24
[yw] dy ddeisyfiad? [gofyn] hyd yn hanner y Marc 6 23

frenhiniaeth, ac fe ai rhoddir it.
o Diar. 29 4 o A dywedodd Esther, O rhynga bodd i'r
11 Marc 10 brenin: deled y brenin, a Haman heddyw i'r
16 a 9, 10 wledd yr hon a wneuthum iddo ef.
1Thes. 5 21 5 A'r brenin a ddywedodd, Perwch i Haman
Iago 3,13 fryssio i wneuthur yn ol gair Esther: felly y
daeth y brenin a Haman i'r wledd yr hon a
wnaethe Esther.
p 1Cron. 17, 23 6 p Yna y brenin a ddywedodd wrth Esther
yng-hyfeddach y gwin, Beth yr wyt ti yn ei
ofyn, ac fe a roddir i ti? a pheth yr wyt ti yn
ei geisio? [gofyn] hyd yn hanner y frenhiniaeth,
ac fe ai cwpleuir.
q Gen. 38 25 7 q Ac Esther a attebodd, ac a ddywedodd,
Fy nymuniad, a'm deisyfiad [yw,]
8 O chefais ffafor yng-olwg y brenin, ac o
rhyglydda bodd i'r brenin roddi fy nymuniad,
a gwneuthur fy neisyfiad: deled y brenin a Ha-
man i'r wledd yr hon a arlwywyf iddynt, ac y
foru y gwnaf yn ol gair y brenin.
r Luc 6 25 9 r Yna Haman a aeth allan y dwthwn hwn-
Amos 6, 13 nw yn llawen, ac yn hyfryd ei galon: ond pan
Mat. 10 26 welodd Haman Mordoceus ym mhorth y bre-
Sal. 15, 4 nin, ac na chyfodase efe, ac na syflase erddo ef,
Pen 3, 2 yna Haman a gyflawnwyd o ddigllonedd yn
erbyn Mordoceus.
s 2 Sam. 10 s Er hynny Haman a ymataliodd, ac a
13, 22 Pen 6, 13 ddaeth iw dŷ ei hun: yna efe a anfonodd, ac a
wahoddodd ei garedigion, a Zeres ei wraig.
t Dan. 4 11 t A Haman a adroddodd iddynt ogoniant
30 Pen 3, 1 ei gyfoeth ef, ac amldra ei feibion: a'r hyn oll y
a 9, 10 mawrhause [y brenin] ef, ac fel y derchafase [y
brenin] ef goruwch y tywysogion, a gweision y
brenin.
u Diar. 27 12 u A dywedoedd Haman hefyd, ni wahodd-
1 odd Esther y frenhines [neb] gyd a'r brenin i'r
wledd yr hon a wnaethe hi onid myfi: ac y foru
hefyd i'm gwahoddwyd atti hi gyd a'r brenin.
v 1 Bren 21, 4 13 v Ond nid yw hyn oll yn llessau i mi: bob
Sal. 52, 1 amser a'r yr ydwyf fi yn gweled Mordoceus'r
2 Iddew yn eistedd ym-mhorth y brenin.
w Marc 6 24 14 w Yna y dywedodd Zeres ei wraig, ai holl
2Sam. 13 garedigion wrtho ef, Paratoer prenn yn ddec
2, 3 Pen 7, 9 cufydd a deugain o uchter, a'r bore dywet wrth
Ioan 18 y brenin am iddynt grogi Mordoceus arno ef,
20 Rhuf. 3 yna dos gyd a'r brenin i'r wledd yn llawen: a
15 Diar. 7, da oedd y peth ger bron Haman, am hynny efe
14 Mat. 27, a baratodd y croc-prenn.
23

## PEN. VI.

*Ahasferus yn darllen mewn llyfr am ffyddlondeb Mordoceus.*
*10 Ac yn peri ei anrhydeddu ef yn rhagorol.*

x Gen. 28 14 Y x NOSWAITH honno cwsc y brenin a
1Sam. 23 26 giliodd ymmaith: am hynny efe a arch-
Sal. 33, 10 odd ddwyn llyfr y coffadwriaethau, [ac] hanes-
a 46, 1. sion yr amseroedd, a darllenwyd hwynt ger
bron y brenin.

2 y Yna y cafwyd yn scrifennedic yr hyn a fy- y Esa. 58 7, 8
negase Mordoceus am Bigthana, a Theres, dau o Pen 2, 21
o stafellyddion y brenin o'r rhai oeddynt yn ca-
dw y trothwy: [sef] y rhai a geisiasent estynn
llaw yn erbyn brenin Ahasferus.
3 z Yna y dywedodd y brenin, Pa anrhydedd, z Mal. 3
neu fawredd a wnaeth i Mordoceus am hyn? a 16
llangciau y brenin [sef] ei weinidogion ef a ddy- Gal. 6, 9
wedasant, Ni wnaed dim erddo ef.
4 a Ar hynny y brenin a ddywedodd, Pwy a Sal. 9, 4
[sydd] yn y cyntedd? (a Haman a ddaethe i Pen 7, 9
gyntedd tŷ y brenin nesaf allan i ddywedyd Iob 5, 13
wrth y brenin am grogi Mordoceus ar y prenn
yr hwn a barotoase efe iddo.)
5 A llangciau y brenin a ddywedasant wrtho,
Wele Haman sydd yn sefyll yn y cyntedd: a
dywedodd y brenin, Deled efe i mewn.
6 b Pan ddaeth Haman i mewn, yna y dywed- b Sal. 35
odd y brenin wrtho ef, Beth a wneir i'r gwr yr 27
hwn y mae y brenin yn ewyllysio ei anrhyd-
eddu? (yna Haman a ddywedodd yn ei galon,
I bwy yr ewyllysia y brenin wneuthur anrhyd-
edd yn fwy nac i mi?)
7 c A Haman a ddywedodd wrth y brenin, Y c Iob 5, 11 Mica 7, 8
gwr yr hwn y mae y brenin yn chwenychu ei Diar. 15
anrhydeddu, 18 Barn. 9
8 d Dygant wisc frenhinawl [iddo ef] yr hon 28, 29 d 1Bren.
yr ymwiscodd y brenin ynddi: a march yr hwn 1, 33
y marchogodd y brenin arno, ac yna rhodder Gen. 41
brenhinawl goron am ei benn ef. 43
9 A rhodder y wisc, a'r march yn llaw un o
dywysogion y brenin y rhai [ydynt] raglawiaid,
a gwiscant am y gwr yr hwn y mae y brenin yn
chwenychu ei anrhydeddu: a pharant iddo
farchogaeth ar y march drwy heol y ddinas, a
chyhoeddant oi flaen ef, Fel hyn y gwneir i'r
gwr yr hwn y mae y brenin yn chwenychu ei
anrhydeddu.
10 e Yna y brenin a ddywedodd wrth Haman, e Sal. 90, 5
Bryssia, cymmer y wisc a'r march fel y llefer- Luc 1, 51
aist, a gwna felly i Mordoceus yr Iuddew'r hwn 52 Sal. 71, 20
sydd yn eistedd ym mhorth y brenin: na âd heb 21 a 35, 18, 19
wneuthur ddim o'r hyn oll a leferaist. a 31, 20
11 Felly Haman a gymmerth y wisc, a'r a 37, 39 a 68, 11
march, ac a wiscodd am Mordoceus, gwnaeth
hefyd iddo farchogaeth drwy heol y ddinas, a
gwaeddodd oi flaen ef, Fel hyn y gwneir i'r gwr
yr hwn y mae y brenin yn mynnu ei anrhydeddu.
12 f Yna y dychwelodd Mordoceus i borth y f Sal. 131, 1
brenin: a Haman a yrrwyd iw dŷ yn alarus 2Sam. 15
wedi gorchuddio ei benn. 30 Ier. 14, 4
13 g A Haman a adroddodd i Zeres ei wraig g Pen 5,
ac iw holl garedigion yr hyn oll a ddigwydd- 11
ase iddo: yna ei ddoethion ef, a Zeres ei wraig Zec. 12, 3 Am. 8, 14
a ddywedasant wrtho, Os o had yr Iddewon [y 1Sam. 5, 3
mae] Mordoceus yr hwn y dechreuaist syrthio 4

oi flaen ni orchfygi mo honaw, onid gan syrth-
io y syrthi oi flaen ef.
ler. 28,7 14 [i] Tra'r oeddynt hwy etto'n ymddiddan ag
ef, stafellyddion y brenin a ddaethant: ac a gyr-
chasantHaman ar frys i'r wledd yr hon a wnelse
Esther.

## PEN. VII.

*Gweddi Esther. 6 A dihenydd Haman.*

PAN ddaeth y brenin a Haman i gyfeddach
gyd ag Esther y frenhines,
Pen 5,6 2 [j] Yna y dywedodd y brenin wrth Esther, ie
ar yr ail dydd wrth gyfeddach y gwin, Beth
[yw] dy ddymuniad Esther frenhines, ac fe a
roddir i ti? neu beth yw dy ddeisyfiad? [gofyn]
hyd yn hanner y deyrnas, ac fe ai cwpleuir.
Iob 2,4 3 [k] A'r frenhines Esther a attebodd, ac a ddy-
Preg. 9 wedodd, O chefais ffafor yn dy olwg di O frenin,
Sam. 20, ac o rhyglydda bodd i'r brenin rhodder i mi fy
Heb. 11 enioes ar fy nymuniad, a'm pobl ar fy neisyfiad.
Ioan 7,51 4 [l] Canys gwerthwyd ni, [sef] myfi a'm pobl
19, 39 i'n dinistrio, i'n lladd, ac i'n difetha: ond pe
Pen 3,9 gwerthasid ni yn weision, ac yn wasanaeth-
1,8 ferched, mi a dawswn a son, er nad yw y gwrth-
Sam. 25 wyneb-wr yn cystadlu niwed y brenin.
9, 16
Ezra 6,16 5 Yna y llefarodd y brenin Ahasferus, ac y
t. 3, 8 dywedodd wrth Esther y frenhines, Pwy yw
hwnnw, a pha le y mae efe yr hwn a glywe ar ei
galon wneuthur felly?
Preg.8 6 [m] A dywedodd Esther, Y gwrthwynebwr a'r
1. 19 gelyn [yw]'r Haman ddrygionus hwn: yna
22 Haman a ddychryunwyd rhac ofn y brenin, a'r
129,28 frenhines.
Sal. 62 7 [n] A'r brenin a gyfododd yn ei ddigllonedd
Diar. 28 o gyfeddach y gwin, [ac a aeth] i ardd y palas:
a Haman a safodd i ymbil am ei enioes gan
6, 14 Esther y frenhines, canys efe a welodd fod y
drygioni wedi ei gwplau yn ei erbyn ef oddi
wrth y brenin.
Pen 1,6 8 [o] Pan ddychwelodd y brenin o ardd y palas
i dŷ cyfeddach y gwin, yna Haman oedd yn
gorwedd ar y gwely yr hwn [yr oedd] Esther
arno, am hynny a dywedodd y brenin, Ai treisio
y frenhines hefyd [y mae efe] yn tŷ gyd a mi?
n [hwyn † gyntaf ac] yr aeth y gair allan o enau y
ted brenin, yna y gorch-guddiasant wyneb Haman.
9. 24 9 [p] Ac Harbona un o'r stafellyddion a ddyw-
Iob 20 edodd yng-wydd y brenin, Wele hefyd y croc-
73,19 brenn (yr hwn a baratodd Haman i Mordoc-
r. 11 eus yr hwn a lefarodd ddaioni am y brenin)
yn sefyll wrth dŷ Haman, yn ddec cufydd a
deugain o uchter: yna y dywedodd y brenin,
Crogwch ef ar hwnnw.
53, 10 [q] Felly hwynt a grogasant Haman ar y
6, prenn, yr hwn a barase efe ei ddarparu i Mor-
16, doceus: yna digllonedd y brenin a lonyddodd.

## PEN. VIII.

*Mawredd Mordoceus. 14 Ac ymwared yr Iddewon.*

Y DWTHWN hwnnw y rhoddodd y bre- [r] Rhuf.10 17
nin Ahasferus i'r frenhines Esther dŷ Iob 5,4,9
Haman gwrthwyneb-wr yr Iddewon: a Mor- Sal. 37, 35
doceus a ddaeth o flaen y brenin, canys Esther Iob 27,16 Diar. 13
a fynegase beth [oedd] efe iddi hi. 22
2 [s] A'r brenin a dynnodd ymaith y fodrwy yr [s] Pen 3,10
hon a gymmerase efe oddi wrth Haman, ac ai Diar. 20, 21
rhoddodd i Mordoceus: ac Esther a osododd
Mordoceus yn nhŷ Haman.
3 [t] Yna Esther a lefarodd eilwaith ger bron y [t] Diar. 8,
brenin, ac a syrthiodd o flaen ei draed ef: 18
wylodd hefyd, ac ymbiliodd ag ef am fwrw
ymmaith ddrygioni Haman yr Agagiad, ai
amcan yr hwn a amcanase efe yn erbyn yr
Iddewon.
4 [u] A'r brenin a estynnodd y deyrn-wialen aur [u] Pen 5,2
tu ag at Esther: yna Esther a gyfododd, ac a
safodd o flaen y brenin,
5 [v] Ac a ddywedodd, O bydd bodlon gan y [v] Diar.19
brenin, ac o chefais ffafor oi flaen ef, ac [od] 23
ydyw y peth yn iawn ger bron y brenin, a min-
ne'n gymmeradwy yn ei olwg ef: scrifenner am
alw yn ol lythyrau amcan Haman fab Hamed-
atha'r Agagiad, y rhai a scrifennodd efe i
ddifetha'r Iddewon, y rhai [ydynt] drwy holl
dalaithau y brenin. [w] Pen7,4
6 [w] Canys pa fodd y gallaf edrych ar y dryg- Luc 2,35 Ier. 9, 1
fyd yr hwn a gaiff fy mhobl? a pha fodd gallaf Luc 2,35
edrych ar ddifethiaid fyng-henedl? Ioan 19 35
7 [x] A'r brenin Ahasferus a ddywedoedd wrth Neh. 2,3
Esther y frenhines, ac wrth Mordoceus yr Amos 6,6 [x] Ios.24,9
Iddew: Wele tŷ Haman a roddais i Esther, a
hwynt ai crogasant ef ar y pren, am iddo ef
estyn ei law yn erbyn yr Iddewon.
8 [y] Gan hynny scrifennwch chwitheu dros yr [y] Dan. 6, 12
Iddewon fel y gweloch yn dda yn enw y brenin, Pen 1, 19
ac inseiliwch a modrwy y brenin: canys yr scrifen
yr hon a scrifennwyd yn enw y brenin, ac a sel-
iwyd a modrwy y brenin nid [yw] iw datroi.
9 [z] Yna y galwyd scrifennyddion y brenin yr [z] 2Cor.7 6
amser hwnnw yn y trydydd mis (hwnnw [yw] y
mis Sifan) ar y trydydd [dydd] ar hugain o Ier. 30 17
honaw ef, ac scrifennwyd yn ol yr hyn oll a'r a Sal. 30,5 10
orchymynnodd Mordoceus i'r Iddewon, ac i'r
pendefigion, y pennaduriaid hefyd, a thywysog-
ion y talaithau, y rhai [oeddynt] o India hyd
Ethiopia, [sef] cant a saith ar hugain o dalaith-
au, [i] bob talaith wrth ei scrifen, ac [at] bob
pobl yn ol eu tafod-iaith: at yr Iddewon hefyd
yn ol eu scrifen hwynt, ac yn ol eu tafod-iaith.
10 [a] Ac efe a scrifennodd yn enw y brenin [a] Pen 3,12
Ahasferus, ac ai seliodd a modrwy y brenin: Preg. 8,4 Dan. 5,19
ac efe a anfonodd lythyrau gyd a'r rhedegwyr [b] Sal. 91 16
yn marchogaeth ar feirch, dromedariaid, y mul- 1 Bren. 20 32
od buanaf [ac] ebolion cessig. Preg. 9,5
11 [b] [Drwy] y rhai y caniadhaodd y brenin Iob 2, 4 Pen 9,16

i'r Iddewon y rhai [oeddynt] ym mhob dinas
ymgynnull, a sefyll am eu henioes i ddinistrio,
i ladd, ac i ddifetha holl lu y bobl a'r dalaith y
rhai oeddynt yn eu gorthrymmu hwynt, yn
blant, ac yn wragedd: ac i sclyfaethu eu hys-
pail hwynt
c Parn 1, 6, 7 Mat. 7, 2 Ex. 15, 9 10 12 [c] Mewn un dydd drwy holl dalaithau y
brenin Ahasferus: yn y trydydd [dydd] ar
ddec o'r deuddecfed mis hwnnw [yw] mis Adar.
d Sal. 34, 15 a 92, 7 13 [d] Testyn yr scrifen [oedd] rhoddi gorchym-
yn ym mhob talaith yn eglur i'r holl bobl: sef
ar fod yr Iuddewon yn barod erbyn y diwrnod
hwnnw i ymddial ar eu gelynnion.
e Pen 3, 15 14 [e] Y rhedeg-wyr y rhai oeddynt yn march-
ogeth y dromedariaid [a'r] mulod buanaf a
aethant ar frys wedi eu gyrru gyd a gair y
brenin; sef a'r gorchymyn a roddasid yn Susan
y brenhin-lŷs.
f 2 Cron 4, 17 1 Sam. 2, 30 Diar. 29 2 15 [f] A Mordoceus a aeth allan o wydd y bre-
nin mewn brenhinawl wisc rudd-coch, a gwenn,
ac [a] choron fawr o aur, ac [mewn] dillad sidan,
a phorphor; a dinas Susan a orfoleddodd, ac a
lawenychodd.
g Iob 18, 5 Sal. 97, 11 Esa. 43, 4 16 [g] I'r Iddewon yr oedd goleuni a llawenydd;
hyfrydwch hefyd, ac anrhydedd.
h Sal. 63 10 a 18, 43 Gen. 35, 5 17 [h] Ac ym mhob talaith, ac ym mhob dinas,
[a] lle, i'r hwn y daeth gair y brenin ai orchymyn
[yr oedd] llawenydd ac hyfrydwch gan yr Idd-
ewon, gwledd [hefyd] a diwrnod daionus:
canys llaweroedd o bobloedd y wlad [honno] a
aethant yn Iddewon, o blegit arswyd yr Idd-
ewon a syrthiase arnynt hwy.

## PEN. IX.

*Yr Iddewon yn cael difetha eu gelynnion. 13 Ac yn cael crogi deng mab Haman.*

i Pen. 2, 7 Iob 11, 20 Sal. 30, 11 a 126, 5 Preg. 9 12 Sal. 7, 16 FELLY [i] yn y deuddecfed mis (hwnnw
[yw] mis Adar) ar y trydydd dydd ar
ddêc o honaw ef, pan nessaodd gair y brenin ai
orchymyn ef iw cwplau; yn yr hwn ddydd y
tŷbiase gelynnion yr Iuddewon [y caent] fudd-
ugoliaethu arnynt, ond yn y gwrthwyneb i hyn-
ny [y bu,] canys hwynt hwy yr Iddewon a
a arglwyddiaethasant ar eu caseion.
j Pen. 8, 11 Ios. 11, 20 Ex. 23, 27 Deut. 11 2 Ios. 20, 9 2 [j] Yr Iuddewon a ymgynnullasant iw dinas-
oedd eu hun, drwy holl dalaithau y brenin
Ahasferus, i estyn llaw yn erbyn y rhai oedd-
ynt yn ceisio niwed iddynt; ond ni safodd neb
yn eu hwynebau, canys eu harswyd a syrthiase
ar yr holl bobloedd.
k Gen 21 22 1 Sam. 18 29 Marc 11 18 3 [k] A holl dywysogion y talaithau, y pendefig-
ion hefyd a'r dugiaid, a'r rhai oeddynt yn gwn-
euthur y gwaith yr hwn [oedd] eiddo'r brenin
oeddynt yn derchafu yr Iuddewon, canys ar-
l 2 Sam. 3 1 Diar. 4, 18 swyd Mordoceus a syrthiase arnynt hwy.
4 [l] Canys mawr [oedd] Mordoceus yn nhŷ'r
brenin, ai glôd ef oedd yn myned drwy'r holl
dalaithau; o herwydd y gŵr Mordoceus oedd
yn myned rhagddo, ac yn cynnyddu.
5 [m] Felly'r Iddewon a darawsant eu holl m 2 Thes. 1, 6
elynnion â dyrnodiau y cleddyf, lladdedigaeth Deut. 32
hefyd a destruw; a gwnaethant iw caseion yn 25
ol eu hewyllys eu hun.
6 Ac yn Susan y brenin-lys, yr Iddewon
a laddasant, ac a ddifethasant bum cant o wŷr.
7 Parsandatha hefyd, a Dalphon, ac Asnatha.
8 Poratha hefyd, ac Adalia, ac Aridatha.
9 Parmasta hefyd, ac Arisai, Aridai hefyd, a
Faiezatha.
10 [n] Deng-mab Haman fab Hanimedatha n Pen 3,
gwrthwyneb-wr yr Iddewon a laddasant hwy; 11
ond nid estynnasant eu llaw ar yr anrhaith. Iob 18, 19 a 27, 14
11 Y dwthwn hwnnw y daeth nifer a lladded- Ex 17, 14 Deut 25
igion i Susan y brenhin-dŷ ger gron y brenin 17
12 A dywedodd y brenin wrth Esther y fren- Sal 21, 10 Col 4, 5
hines, Yr Iddewon a laddasant, ac a ddifeth- Pen 8, 11 1 Cor 10
asant yn Susan y brenhin-lys bum cant o 32
wŷr a deng-mab Haman, yn y rhan arall o Phil 4, 8 Rhuf 12
dalaithau y brenin beth a wnaethant [debygi 17 Gen 14, 23
di?] beth gan hynny [yw] dy ddymuniad, ac
fe a roddir it? a pheth [yw] dy ddeisyfiad
mwyach ac fe ai gwneir?
13 [o] Yna y dywedodd Esther, O rhyglydda o Pen 5, 4
bodd i'r brenin, caniadhaer y foru i'r Iddewon 8, 11 Sal 109, 5
y rhai [ydynt] yn Susan wneuthur yn ol y 2 Sam 21 6
gorchymyn heddyw: a chrogant ddeng-mab Sal 66, 6 a 40, 8
Haman ar y pren.
14 A'r brenin a ddywedodd am wneuthur
felly, a'r gorchymyn a roddwyd yn Susan; a
hwyntau a grogasant ddeng-mab Haman.
15 Felly'r Iddewon y rhai [oeddynt] yn Susan
a ymgynnullasant ar y pedwerydd dydd ar
ddec o fis Adar, ac a laddasant drychant o
wŷr yn Susan ond nid estynnasant eu llaw ar
yr yspail.
16 [p] A'r rhann arall o'r Iddewon y rhai [oedd- p Heb 11
ynt] yn nhalaithau y brenin a ymgasclasant, 33
ac a safasant am eu henioes, a chawsant lon-
yddwch gan eu gelynion, lladdasant hefyd bym-
theng-mil a thri ugain oi caseion: ond nid es-
tynnasant eu llaw ar yr anrhaith.
17 [q] Ar y trydydd dydd ar ddec o fis Adar [y q Hag 1
lladdasant eu gelynion,] ac ar y pedwerydd 4 Sal 118
[dydd] ar ddec o honaw ef y gorphwysasant, ac 11 Neh 8
y cynhaliasant ef yn ddydd gwledd a gorfoledd.
18 Ond yr Iddewon y rhai [oeddynt] yn Su-
san a ymgynnullasant ar y trydydd [dydd] ar
ddec o honaw ef, ac ar y pedwerydd [dydd] ar
ddec o honaw: ar y pymthecfed hefyd o honaw
ef y gorphywysasant, a chynhaliasant ef yn ddydd
gyfeddach a llawenydd.
19 Am hynny Iddewon y pentrefydd y rhai
oeddynt yn trigo mewn dinasoedd heb gaerau

oeddynt yn cynnal y pedwerydd dydd ar ddec
o'r mis Adar mewn llawenydd a chyfeddach,
ac yn ddiwrnod daionus; a phawb yn anfon
rhoddion iw gilydd.
s 2Cor.1, 11 20 [s] A Mordoceus a scrifennodd y geiriau hyn;
t Cron. 36,17 ac a anfonodd lythyrau at yr holl Iddewon y
Sal.126,1, 2 rhai [oeddynt] drwy holl dalaithau y brenin
Ahasferus yn agos ac yn mhell,
a 126,1 Col.1,10 aEx.15,3 21 [t] Gan ordeinio iddynt hwy fod yn cynnal
y pedwerydd dydd ar ddec o fis Adar a'r pym-
thecfed dydd o honaw, bob blwyddyn.
tSal.19,1 22 [t] Yn ol y dyddiau yn y rhai y cawse yr
a 34,1,4 Iddewon ynddynt lonydd gan eu gelynion, a'r
a 126,3,4 mis yr hwn a ddychwelase iddynt o dristwch i
a 116,13,15 lawenydd, ac o alar yn ddydd daionus; gan eu
Sal.146,4 cynnal hwynt yn ddyddiau gwledd, a llawen-
ydd, a phawb yn anfon anrhegion iw gilydd, a
rhoddion i'r rhai anghenus.
u 2Cron. 29,18 23 [u] A'r Iddewon a gymmerasant arnynt yr
Pen 7,10 hyn a ddechreuasent ei wneuthur; a'r hyn a
scrifennodd Mordoceus attynt.
24 Canys Haman mab Hammedatha'r Agagiad
gwrthwyneb-wr yr holl Iddewon a arfaethase
yn erbyn yr Iddewon am eu difetha hwynt: ac
efe a fwriase Pwr (hwnnw [yw] y coelbren) iw
dinistrio hwynt, ac iw difetha.
25 A phan ddaeth hi o flaen y brenin, efe a
archodd drwy lythyrau, ddychwelyd ei ddrwg
fwriad ef yr hwn a fwriadodd efe yn erbyn yr
Iddewon ar ei ben ei hun; ai grogi ef ai feibion
ar y pren.
y Num 16,40 26 [v] Am hynny y galwasant y dyddiau hynny
Ezec. 39,11 Pwrim ar enw y Pwr, o herwydd holl eiriau y
llythr hwnnw: ac [o herwydd] y peth a wel-
sent hwy am hynny, a'r peth a ddigwyddase
iddynt.
w Pen 8, 17 27 [w] Yr Iddewon a ordeiniasant, ac a gym-
merasant arnynt, ac ar eu hâd, ac ar yr holl rai
oeddynt yn un a hwynt na phallid fod yn cynnal

y ddau ddydd hynny yn ol eu scrifen hwynt, ac
yn ol eu tymmor, bob blwyddyn,
28 [x] Ac [y bydde] y dyddiau hynny iw cofio, xSal.105, 2
ac iw cynnal drwy bob cenhedlaeth, a phob Barn 20, 11
teulu, pob talaith hefyd, a phob dinas: sef na Iob 19,23, 24
phalle y dyddiau Pwrim hynny o fysc yr Idd- Ier. 23,7
ewon, ac na ddarfydde eu coffadwriaeth hwynt Ex.12,17
o blith eu hâd. Lef 23,43
29 Ac Esther y frenhines merch Abihail a
scrifennodd, a Mordoceus yr Iddew drwy eu
holl rymm: i siccrhau llythr y Pwrim hynny yr
ail waith.
30 [y] Ac efe a anfonodd lythyrau at yr holl yEsec 8, 19
Iddewon drwy y cant a'r saith dalaith ar hug- Heb. 12, 14
ain o frenhiniaeth Ahasferus, a geiriau heddwch Rhuf. 15, 5
a gwirionedd, Iago 3,17
31 [z] I siccrhau y dyddiau Pwrim hynny yn z Thes. 2, 10
eu tymhorau, fel yr ordeiniasse Mordoceus yr Eph. 4,15
Iddew, ac Esther y frenhines iddynt hwy, ac 1Ioan 1,6
fel y cadarnhausent trostynt eu hun, a thros eu Esa. 63,8 z Pen 10, 3 a 4, 16
hâd eiriau yr ympryddiau, ai gweddi. Iona 2, 9
32 Ac ymadrodd Esther a gadarnhaodd achos-
ion y [dyddiau] Pwrim hynny: ac scrifennwyd
[hynn] mewn llyfr.

## PEN. X.

*Treth Ahasferus. 3. A pharch Mordoceus.*

A'R [a] brenin Ahasferus a osododd dreth ar a Sal 72, 10
y wlad, ac ar ynysoedd y mor. Luc 2, 1
2 A holl weithredoedd ei rymm ef, ai gader- Iob 32,8, 9
nid, ac yspysrwydd o fawredd Mordoceus a'r
hwn y mawrhaodd y brenin ef: onid ydynt hwy
yn scrifennedic yn llyfr Cronicl brenhinoedd
Media, a Phersia.
3 [b] Canys Mordoceus yr Iddew [oedd] yn ail b 2 Cron. 28, 11
i frenin Ahasferus, ac yn fawr gan yr Iddewon, Luc 2,52
ac yn gymmeradwy ym mysc lluosogrwydd ei Neh.2,10
frodyr: yn ceisio daioni iw bobl, ac yn dywed-
yd [am] heddwch iw holl hiliogaeth.

# LLYFR IOB.

## PEN. I.

*Buchedd Iob ai blant: ei gyfoeth, ai ofal tros ei blant.* 13. *Colled Iob am ei dda, ai blant.* 20 *Ai ddioddefgarwch.*

aGen.10, 23 Y'R [a] oedd gwr yng-wlad Hus ai enw Iob:
Ezec. 14, 14 ac yr oedd y gwr hwnnw yn berffaith, ac
Gen. 6, 9 yn iniawn, yn ofni Duw hefyd, ac yn cilio oddi-
Sal. 15, 2 Diar.8,13 a 16, 6 wrth ddrygioni.
bSal.128, 3 2 [b] Ac iddo ef y ganwyd saith o feibion, a thair
merched.

3 [c] Ai olud ef oedd saith mil o ddefaid, a thair cMat. 6 33
mil o gamelod, a phum cant iau o ychen, a phum
cant o assynnod, a llawer iawn o wasanaeth-
yddion: ac yr oedd y gwr hwnnw yn fwy na
holl feibion y dwyrain.
4 [d] Ai feibion ef a aent, ac a wnaent wledd, dSal.133, 1
pob un [yn ei] dŷ [ar] ei ddiwrnod: anfonent Gen. 40, 20
hefyd, a gwahoddent eu tair chwiorydd i fwytta, 1Cor. 10, 31
ac i yfed gyd a hwynt.

eEx.19,10 Rhuf.12, 5 ᵉ A phan ddele dyddiau y wledd oddi am-
11 Lef. 1,10 gylch, yna Iob a anfone, ac ai sancteiddie
2Cor. 11, hwynt, cyfode hefyd yn foreu, ac offrymme
2 Ier. 9, 1 boeth offrymmau [yn ol] eu rhifedi hwynt oll,
Mat. 15, canys dywede Iob, Fy meibion ond odid a
19 Gal. 6, 9 bechasant, ac a felldithiasant Dduw yn eu ca-
lonnau: felly y gwnae Iob yr holl ddyddiau
hynny.
f Pen 38, 6 ᶠ A'r dydd a ddaeth i feibion Duw ddyfod, a
7 1Bren.22 sefyll ger bron yr Arglwydd: a Satan hefyd a
19 Dat.12,10 ddaeth yn eu plith hwynt.
g Heb.4, 7 ᵍ Yna'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan,
13 1 Pedr 5, O ba le'r ydwyt yn dyfod? a Satan a attebodd
8 yr Arglwydd, ac a ddywedodd, O amgylchu y
ddaiar, ac o ymrodio ynddi.
8 A dywedodd yr Arglwydd wrth Satan, A
ddelaist ti sulw ar fyng-was Iob, nad [oes] gy-
ffelib iddo ef ar y ddaiar? yn wr perffaith, ac
iniawn yn ofni Duw, ac yn cilio oddi wrth
ddrygioni.
9 Yna Satan a attebodd yr Arglwydd, ac a
ddywedodd, Ai yn ddiachos y mae Iob yn ofni
Duw?
h Esa. 5,2 Sal. 34,7 10 ʰ Oni chaeaist oi amgylch ef, ac o amgylch
a 127, 1 ei dŷ, ac yng-hylch yr hyn oll [sydd] eiddo ef
a 128, 1 Diar. 10, oddi amgylch? [oni] fendithiaist waith ei ddwy-
22 law ef, fel y cynnyddodd ei ddâ ef ar y ddaiar?
i Esa.8,21 11 ⁱ Eithr estyn yn awr dy law, a chyffwrdd
Mal. 3,14 a'r hyn oll [sydd] ganddo: [i weled] oni fell-
diga efe di o flaen dy wyneb.
j Mat 8,31 12 ʲ Yna'r Arglwydd a ddywedoedd wrth
Ioan 19, 11 Satan, Wele'r hyn oll [sydd] eiddo ef yn dy law
1 Cor. 10, 13 di, yn unic yn ei erbyn ef ei hun nac estyn dy
Esa. 27,8 law: felly Satan a aeth allan oddi ger bron yr
Arglwydd.
k Luc 21, 13 ᵏ A'r dydd a ddaeth, pan oedd ei feibion ef
34 Preg 9,12 ai ferched yn bwyta, ac yn yfed gwin yn nhŷ eu
brawd hynaf.
l Diar.17, 14 ˡ Yna cennad a ddaeth at Iob, ac ddywed-
11 odd, Yr ychen oeddynt yn aredic a'r assynnod
oeddynt yn pori ger eu llaw hwynt,
m Diar. 15 ᵐ Ond y Sabeaid a ruthrasant, ac ai dug-
32, 10 asant ymmaith, y llangciau hefyd a darawsant
hwy a min cleddyf: a minne fy hunan a ddi-
engais yn unic i fynegu i ti.
n Diar.8, 16 ⁿ Tra'r ydoedd hwn yn llefaru, yna arall
20 Iago 1, 2 a ddaeth, ac a ddywedodd, Tân Duw a syrth-
Heb. 12, iodd o'r nefoedd, ac a loscodd y defaid a'r
29 gweision, ac ai byssodd hwynt: ond myfi fy hun
a ddiengais yn unic i fynegu i ti.
17 Tra'r ydoedd hwn yn llefaru, yna arall a
ddaeth, ac a ddywedodd, Y Caldeaid a ymos-
odasant yn dair byddin, ac a ruthrasant i'r
camelod, ac ai dugasant ymmaith, tarawsant
hefyd y llangciau a min y cleddydd: a minne fy
hun yn unic a ddiengais i fynegu i ti.

18 Tra'r ydoedd hwn yn llefaru, yna arall a
ddaeth, ac a ddywedodd, Dy feibion a'th fer-
ched oeddynt yn bwyta, ac yn yfed gwin yn
nhŷ eu brawd hynaf,
19 ᵒ Ac wele gwynt mawr a ddaeth oddi tros o Eph 2,1 Preg. 9,1
yr anialwch, ac a darawodd wrth bedair congl 2
y tŷ, fel y syrthiodd efe ar y llangciau, ac y Deut.28, 59
buant feirw: ond myfi fy hun yn unic a ddieng- Ioan 9, 3 Luc13,1,
ais i fynegu i ti. 2
20 ᵖ Yna y cyfododd Iob, ac a rwygodd ei Act. 28,3 p 2 Sam.
fantell, ac a eilliodd ei benn: syrthiodd hefyd i 18 33 1Pedr 5,
lawr, ac addolodd. 6
21 Ac efe a ddywedodd, Noeth y daethum o Rhuf.12, 18
groth fy mam, a noeth y dychwelaf yno, yr q Preg.5, 15
Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd Iago 1.17 Mat. 20,
ymmaith: bendigedic fyddo enw'r Arglwydd. 15
22 Er hynny ei gyd ni phechodd Iob, ac ni Esa.24,15
roddodd efe [eiriau] ynfydion am Dduw.

## PEN. II.

*Satan wedi cael cennad gan Dduw yn cystuddio corph Iob.*
*9 Ei wraig yn ceisio ganddo felldithio Duw, a heb gael.*
*11 Cyfeillion Iob yn dyfod i ymweled ag ef.*

A'R ʳ dydd a ddaeth i feibion Duw ddyfod i r Esa. 6,2 Mat. 18,
sefyll ger bron yr Arglwydd: a Satan 10
hefyd a ddaeth yn eu plith hwynt i sefyll ger
bron yr Arglwydd.
2 ˢ Yna'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, s Luc 16, 18
O ba le'r ydwyt yn dyfod? a Satan a attebodd
yr Arglwydd, ac a ddywedodd, O amgylchu y
ddaiar, ac o ymrodio ynddi.
3 ᵗ A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, t Heb.11, 35
A ddelaist ti sulw ar fyng-was Iob, nad [oes] Mat. 4, 8
gyffelib iddo ef ar y ddaiar? yn ŵr perffaith, ac Ioan 9, 3
iniawn, yn ofni Duw, ac yn cilio oddi wrth
ddrygioni, ac yn parhau yn ei berffeithrwydd,
er it fy annog i yn ei erbyn ef, i'w ddifa ef heb
achos?
4 ᵘ A Satan a attebodd yr Arglwydd, ac a u Ester7,
ddywedodd, Croen [arall] am [ei] groen [ei hun,] 3, 4
a'r hyn oll [sydd] gan ŵr a ddyru efe am ei
einioes.
5 ᵛ Eithr estyn yn awr dy law, a chyfwrdd ai v Sal. 6, 2
escyrn ef, ac ai gnawd: [i weled] oni felldiga efe
dy di o flaen dy wyneb.
6 ʷ A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, w Mat. 3
Wele ef yn dy law di: etto cadw ei hoedl. 31 x Esa.10,6
7 ˣ Felly Satan a aeth allan oddi ger bron yr Pen 19,20
Arglwydd: ac a darawodd Iob a chornwydydd y Sal. 149, 4
drwg, o wadn ei droed hyd y ei goryn. Iago 5,11 Mat. 11,
8 ʸ Ac efe a gymmerth gragen i ymgrafu a hi: 21 z Gen.3,6
ac yntef oedd yn eistedd yng-hanol y llwch. Pen 21,15 Mal.3, 14
9 ᶻ Yna ei wraig a ddywedodd wrtho, A wyt a Mat. 18,
ti etto'n parhau yn dy berffeithrwydd? mell- 15 Mat. 16,
dithia Dduw, a bydd marw. 23
10 ᵃ Ac efe a ddywedodd wrthi, Lleferaist fel Pen 1,11 Heb. 12,
y llefare un o'r rhai ynfydion, a dderbyniwn ni 11 Sal. 39, 2

gan Dduw'r hyn sydd dda, ac heb dderbyn yr
hyn sydd ddrwg hefyd? er hyn ei gyd ni phe-
chodd Iob ai wefusau.
b Diar. 17 17 11 b Pan glybu tri chyfell Iob yr holl ddrwg
Act 8 ymma'r hwn a ddigwyddase iddo ef, yna y daeth-
Ier. 49,7 Gen. 36, ant bob un oi fangre ei hun, [sef] Eliphaz y
11 a 25,2 Ios. 15,41 Themaniad, Bildad hefyd y Suhiad a Zophar y
Rhuf 12, 15 Naamathiad: ac a ymgyfarfuant ynghyd i
ddyfod i gyd-ofidio ag ef, ac iw gyssuro.
c Galar. 4 7 12 c Pan dderchafasant eu llygaid o bell, yna
nid adnabuant ef, am hynny y derchafasant eu
llef, ac yr wylasant: rhwygasant hefyd bob un
ei fantell, a thanasant lwch ar eu pennau tua yr
nefoedd.
d Sal. 77,4 13 d Felly hwynt a eisteddasant gyd ag ef ar
Esa. 20,4 Ex. 6,9 y ddaiar saith niwrnod, a saith noswaith: ac
nid oedd [neb] a ddywede air wrtho ef, canys
gwelent fywhau ei ddolur ef yn ddirfawr.

## PEN. III.

*Iob yn rhegu dydd ei enedigaeth. 11 A yn chwenychu marwolaeth, 14 Lle y mae cyrchfa pob math ar ddyn, 17 a diwedd pob gofid bydol, 23 yr hwn oedd drwm arno ef.*

Sal. 106, WEDI e hynny Iob a agorodd ei enau, ac
a felldigodd ei ddydd.
Ier. 20,14 2 Canys Iob a lefarodd ac a ddywedodd,
f Ier. 20 3 f Darfydded am y dydd i'm ganwyd ynddo:
a'r nos y dywedwyd, Fe ennillwyd gŵr.
Ex. 10 4 g Bydded y dydd hwnnw yn dywyllwch, [a]
Rhuf. 14 Duw oddi uchod heb ei ystyried, ac na thyw-
Act. 27 ynned llewyrch arno.
5 h Ond tywyllwch a chyscod marwolaeth ai
Sal. 23,4 97, 3 halogo ef, ac arhosed cwmwl arno ef: gwnel-
Adas 13 ont ef mor erchill a'r diwrnod chwerwaf allan.
Act. 27 6 i Cymmered niwl y nos honno, na chydier hi
Sal. 74,16 a dyddiau y flwyddyn: ac na ddeued hi i rifedi
y misoedd.
Pen 15 7 j Bydded y noswaith honno yn unic: ac na
Esa. 13,21 fydded gorfoledd ynddi.
Jer. 9, 8 k A'r rhai a felldigant [eu] dydd, ac sy barod
i gyffroi eu galar ai melldithion hi.
Bren. 7 9 l A bydded ser ei chyfddydd hi yn dywyll,
Jer. 5, disgwilied hi am oleuni, ac na [ddeued ddim:]
ac na chaffed hi weled y wawr ddydd.
Esa. 48 10 m Am na chaeodd hi ddryssau croth fy
Esa. 53,7 [mam,] ac na chuddiodd hi ofid oddi wrth fy
llygaid.
Pen 10 11 n Pa ham na bum farw [wrth ddyfod] o'r
Eg 7,7 bru? [na] threngais [pan] ddaethum allan o'r groth?
12 Pa ham y derbynnodd gliniau fyfi? a pha
ham [y cefais] fronnau i sugno?
13 O herwydd [oni buase hynny] yn awr mi
a gawswn orwedd, a gorphwys [a] huno, yna
[y buase] llonyddwch i mi,
14 Gyd a brenhinoedd, a chynghor-wyr y
ddaiar y rhai a adailadasant iddynt eu hunain
[fannau] anghyfannedd.
15 o Neu gyd thywysogion [ac] aur ganddynt: o Pen. 22, 25
y rhai a lanwasant eu tai ag arian. Diar. 11 2
16 p Neu [pa ham] na'm cuddiwyd fel erthyl? p Dat. 6 13
[neu] megis plant bychain heb weled goleuni? Ioan 7, 8
17 q Yno yr annuwiolion a beidiant ai cyffro: Sal. 58.8 q Esa. 57
ac yno y gorphwys y rhai lluddiedic o nerth. 20
18 r Y rhai a gyd garcharwyd a gaent [yno] Pen 14,1 r Ex. 5, 6
lonydd, [ac] ni chlywant lais y gorthrymudd. s Sal. 49 23
19 s Bychan a mawr [sydd] yno: a'r gwas yr Col. 4, 4
hwn a ryddhauwyd oddi wrth ei feistr. t Sal. 56
20 t Pa ham y rhoddir goleuni i'r hwn sydd 13 Diar. 31
mewn llafur? a bywyd i'r rhai gofidus? 6
21 u Y rhai sy'n disgwil am farwolaeth ac heb u Dat. 9.6
ei [chael,] er cloddio o honynt am dani hi yn Phil. 1,21
fwy nac am dryssorau cuddiedic.
22 v Y rhai a lawenychant mewn hyfrydwch: v Mat. 13 44
ac a orfoleddant pan gaffant y bedd.
23 [w Paham y rhoddir goleuni] i'r gwr yr hwn y w Esa. 40 17
mae ei ffordd yn guddiedic: ac y caeodd Duw Galar. 3,
arno? 7
24 O x blegit o flaen fy mwyd y daw fy uchen-
aid: a'm rhuadau a dywelltir megis dyfroedd. x Pen 7, 19
25 Canys yr hyn a ofnais a ddaeth attafi; a'r
hyn a arswydais a ddigwyddodd i mi.
26 Ni bum lonydd na difraw, ac ni orphywys-
ais; er hynny daeth cynnwrf [arnaf.]

## PEN. IV.

*Eliphaz yn ceryddu Iob am ei fod yn anioddefgar. 7 Ac yn ymddyried yn ei gyfiawnder ei hun.*

YNA y Eliphaz y Themaniad a attebodd, y Pen 3, 2
ac a ddywedodd,
2 z Pe profem ni [ddywedyd] gair wrthit ti, a z Tim. 4. Dat. 19,17
fydde blin gennit ti? ond pwy a all attal [ei] ym-
adroddion?
3 z Wele ti a ddyscaist lawer, ac a sicrheaist z Gen. 18 19
ddwylo wedi llaesu. Heb. 12
4 a Dy ymadroddion di a godasant i fynu yr 12
hwn oedd yn llithro: a thi a nerthaist y gliniau a Gal. 6,1 Heb. 12,
y rhai oeddynt yn cammo. 12
5 b Blin gennit ti am ddyfod [hyn] i ti'n awr: b Pen 3
cyffroaist [pan] gyffyrddwyd a thi. 20 a 1, 11
6 c Onid [dymma] dy ofn di, dy hyder di, dy c Pen 1,1
obaith di, a pherffeithrwydd dy ffyrdd di? Diar. 3 26
7 Cofia attolwg pwy [ac] efe'n ddiniwed a goll- 2 Bren. 20
wyd? a pha le y torrwyd y rhai iniawn ymaith? 3
8 Hyd y gwelais i, y rhai a arddent oferedd,
ac a hauent flinder, ai medent.
9 Gan anadl Duw y difethid hwynt, a chan
chwythad ei ffroenau ef y darfyddent hwy.
10 d Rhuad llew, a llais llewes, a dannedd ce- d Tim. 4 7
nawon llewod a dynnwyd.
11 e Y llew a fethodd o eisieu sclyfaeth: a e Sal. 34, 10
chenawon y llew mawr a wascarwyd. f Sal. 63, 11
12 f Ac attafi y dygwyd gair yn ddirgel: am 1 Cor. 13 12
clust a dderbynniodd ychydig o honaw. g Gen. 15
13 g Ym mhlith meddyliau [yn dyfod] o wel- 1

elligaethau y nos: pan syrthio trym-gwsc ar
ddynion:
h Hab. 3 14 h Ofn a ddaeth arnaf, a dychryn: ac a
6 wnaeth i'm holl escyrn grynu.
i Sal. 119 15 i A'r gwynt a aeth heibio o flaen fy wyneb:
120 ac a wnaeth i flew fyng-nhawd sefyll yn hyll.
j Rhuf. 11 16 j Efe a safodd, ac nid adwaenwn ei agwedd
33 ef, drychiolaeth [oedd efe] gyferbyn a'm llygaid:
Dat. 8, 15 ac yn ddistaw mi a glywais y llef [ymma.]
Hab. 2
20
k Pen 14 17 k A fydd dyn yn gyfiawnach na Duw? a
1 fydd gwr yn burach na'i wneuthur-wr?
Luc 16, 15
Diar. 10 18 l Wele yn ei wasanaeth-wyr ni chafodd efe
31 ffyddlondab: ac yn erbyn ei angelion y gosod-
l Pen 15
15 odd efe ynfydrwydd.
Sal. 103
20, 21 19 m Pa faint mwy y rhai ydynt yn trigo
2 Pedr 2,
4 mewn tai o glai, y rhai [sy] ai sail mewn pridd?
m Gen. 3 y rhai a falurir yn gynt na gwyfyn?
7
Luc 12 20 O'r borau hyd hwyr y coethir hwynt, di-
20 fethir hwynt yn dragywydd heb [neb] yn ystyr-
ied.
21 Onid aeth eu rhagoriaeth hwy gyda hwynt
ymmaith? hwy a fyddant feirw, ac nid mewn
doethineb.

## PEN. V.

*Eliphaz yn dangos rhagor rhwng y duwiol a'r annuwiol. 3 Cwymp yr annuwiol. 9 Gallu Duw yn difetha y drygionus: ac yn achub y daionus.*

n Sal. 49 GALW n yn awr, a oes [neb] yn atteb i ti?
7 ac at bwy o'r sainct y troi di?
Heb. 12
1
o Gen 30 2 o Canys digllondeb a ladd yr ynfyd, a chen-
1 figen yr annoeth.
p Ier. 12, 3 p Mi a welais yr ynfyd yn gwreiddio: ac a
Sal. 37, 36 felldithiais ei drigfa ef yn ddisymmwth.
q Sal. 116 4 q Ei feibion ef a bellhauir oddi wrth iechyd-
155 wriaeth: dryllir hwynt hefyd yn y porth, ac ni
Sal. 109
12, 13 bydd gwaredudd.
r Sal. 14, 2 5 r Yr hwn y bwyttu y newynog ei gynhaiaf,
wedi iddo ei gymmeryd ef o blith drain: a'r
sychedic a ŷf eu cyfoeth hwynt.
s Amos 3 6 s Canys ni ddaw trueni allan o'r pridd, ac
6 ni flagura gofid allan o'r ddaiar.
t 1 Cor. 10 7 t Ond dyn a aned i flinder, fel yr eheda
13 gwreichionen yn uchel.
8 Etto myfi a ymgynghorwn a Duw: ac a
Duw yr ymddiddanwn.
u Ioan 5 9 u Yr hwn sydd yn gwnenthur pethau mawr-
Deut. 32 ion, anchwiliadwy, rhyfeddol heb rifedi.
4
v Ioan 38, 10 v Yr hwn sydd yn rhoddi glaw ar wyneb y
28 ddaiar: ac yn danfon dyfroedd ar wyneb yr
heolydd.
w 1 Sam. 11 w Gan osod rhai isel mewn uchelder: fel y
2, 7 derchefir y galarus [i] iechydwriaeth.
Esa 33, 16
x Sal. 33 12 x Yr hwn sydd yn diddymmu amcannion y
10 cyfrwys: fel na wnelo eu dwylo hwynt ddim a
a 76, 5 ffrwyth ynddo.
y Sal. 9, 15 13 y Yr hwn sydd yn dal y doethion yn eu
cyfrwysdra: fel y byddo ynfyd cyngor y rhai
dichellgar.
14 z Lliw dydd y cyfarfyddant a thywyllwch, z Esa. 59
a hwy a balfalant am ffordd hanner dydd, megis 10
lliw nos. a 19, 13, 14
15 a Yr hwn hefyd a achub yr anghenog rhac a Sal. 71
y cleddyf, rhac eu genau hwy, a rhac llaw y
cadarn.
16 b Felly y mae efe yn obaith i'r tlawd, ond b Sal. 107
anwiredd a gaeodd ei safn. 42
1 Sam. 2
17 c Wele gwyn ei fyd y dyn a geryddo Duw, c Sal. 94
am hynny na ddiystyra gerydd yr Hollalluog. 12
18 d Canys efe a glwyfa, ac a feddiginiaetha: d Deut.
efe a friw, ai ddwylaw ef a iachant. 32, 39
Hos. 6, 1
19 e Mewn chwech o gyfyngderau efe a'th wared e Sal. 34
ti: ac yn y seithfed ni chyffwrdd drwg a thi. 19
1 Cor. 10
20 f Mewn newyn efe a'th wared ti oddi wrth 13
farwolaeth: ac mewn rhyfel oddi wrth fin y f Sal. 34
cleddyf. 10
Hab. 3, 17
21 g Rhac ffrywill tafod i'th guddir: ac ni ofni g Sal. 31
rhac dinistr pan ddelo.
22 h Mewn dinistr, a newyn y chwerddi: ac h Esa. 11
ni ofni rhac bwyst-filod y ddaiar.
23 i Canys a cherrig y maes y [bydd] dy am- i Sal. 1, 3
mod ti: a bwystfil y maes hefyd fydd heddych-
ol i ti.
24 j A thi a gei wybod [y bydd] heddwch j Preg. 1
[yn] dy luest: a phan ymwelech a'th drigfa ni
phechi.
25 k A chei wybod hefyd mai lluosog [fydd] dy k Sal. 112
had a'th hiliogaeth megis gwellt y ddaiar. 2
26 l Ti a ddeui mewn henaint i'r bedd: fel y l Esa.
codir yscafn yn ei hamser. 30
27 m Wele ni a chwiliasom hyn, [ac] felly [y m Sal. 111
mae] efe: gwrando hynny, a gwybydd di er dy Diar. 9
fwyn dy hun.

## PEN. VI.

*Iob yn atteb nad heb achos yr oedd efe yn cwynfan. 8 Yn ewyllysio marw. 13 Ac yn achwyn rhac eu gyfeillion.*

AC n Iob a attebodd, ac a ddywedodd, n Pen. 3
2 o O gan bwysso na phwysid fy nigllon- 27
deb: ac na chydgodent fy-nhrychineb mewn o Pen. 3
clorian.
3 p Canys yn awr trymmach fydde na thywod p Pen. 23
y môr: am hynny y pallodd fyng-eiriau. Salm 77
4
4 q O herwydd [y mae] saethau'r Holl-alluog q Deut.
ynof, y rhai y mae eu gwenwyn yn yfed fy ys- 32, 23
pryd: dychrynfâu Duw a ymfyddinasant i'm Galar. 3
herbyn. 5, 7
5 r A rua assyn wyllt uwch benn glas-wellt? r Jer. 14
a fref ŷch uwch benn ei borthiant? 6
6 s A fwyteir peth diflas heb halen? a oes Salm 104
flâs ar wynn ŵy? 10
s Heb. 1
7 t [Y pethau] a wrthododd fy enaid eu cyff- 11
wrdd, y rhai hynny gan ofid [ydynt] yn lle t Galar.
bwyd i mi. 3
Dan 10
Sal. 102

sDiar.28 29 8 [s] O na ddeue fy nymuniad, ac na rodde
Duw'r hyn yr ydwyfi yn ei ddisgwil.
9 [v] O[na] ddechreue Duw fy nryllio, na oll-
v1Bren. 19,4 ynge efe ei law yn rhydd ac na'm torre fi ym-
maith.
10 [w] Yna cyssur a fydde etto (er fynghaledu
wRhuf.1 13 mewn clefyd heb [fy] arbed) na chelais ymad-
Act. 20, 20 roddion y sanctaidd [Dduw.]
xRhuf. 4 18 11 [x] Pa nerth [sydd] i mi i barhau? a pha
Pen 5,16 ddiwedd [fydde] i mi pe estynnwn fy hoedl?
ySal.105, 14, 15 12 [y] Ai [fel] cryfdwr cerrig [y mae] fyng-hryf-
dwr? a ydyw fyng-nhawd o bres?
a2Cor. 1 12 13 [a] Onid [ydyw] fy amddeffyn gennifi? a fwr-
Esa. 6,13 iwyd rhsswm ymmaith oddi wrthif,
a2Cor.11 29 14 [a] Yn erbyn yr hwn y toddwyd [ei] drugar-
Diar. 17 17 edd oddi wrth ei gyfell, ac a adawodd ofn yr
Holl-alluog?
bSal. 38 11 a 88,18 15 [b] Fy mrodyr [a'm twyllasant megis afon:
aethant heibio fel llifeiriant afonydd:
16 Y rhai a dduasant gan rew: ac yr ym-
guddiodd eira ynddynt:
17 Mewn amser hwy a redant, [ac] hwy a
dorrir ymmaith: pan wresogo [yr hin] hwy a
ddarfyddant allan oi lle:
18 Llwybrau eu ffordd hwynt a giliant: dring-
ant hefyd i wagedd, a hwy a gollir.
cGen. 25 15 19 [c] Y rhai a aent i Thema a edrychasant: y
rhai a deithient i Saba a ddisgwyliasant am
danynt hwy.
dJer.14,3 20 [d] Hwynt a gywilyddiwyd am obeithio [yn-
ddynt:] hwynt a ddaethant hyd yno, ac a
wladeiddiasant.
eSal. 38 11 21 [e] Felly yn awr diau nad [ydych chwi y rhai]
oddych: chwi a welsoch ddychryn, ac a ofna-
soch.
f1 Sam. 2,8 22 [f] A ddywedais i, Dygwch i mi? ac o'ch
ffrwyth chwi rhoddwch roddion trosofi.
g Sal. 37 15 23 [g] Neu gwaredwch fi o law y gelyn: a
rhyddhewch fi o law y cedyrn.
Sal.32,9 Iago 1,19 24 [h] Dyscwch fi, ac myfi a dawaf: a gwnewch
i mi ddeall [ym] mha beth y dywedais yn
amryfus.
Preg. 12 25 [i] Mor gryfion ydyw geiriau iniondeb: ond
pa beth a argyhoedda argyhoeddiad [un] o
honoch chwi?
Eph. 4 Ios.12,8 26 [j] Ai argyoeddi ymadroddion a amcenwch
chwi? fel [y bydd] geiriau [dyn] truan megis
gwynt.
Sal. 57 27 [k] Chwi a ruthrwch hefyd am benn yr ym-
Jer.18,20 ddifad, ac a gloddiwch yn erbyn eich cyfaill.
Esa.63,8 28 [l] Eithr yn awr byddwch fodlon, edrychwch
arnafi: canys ni ddywedaf gelwydd o'ch blaen
chwi.
Pen 17 29 [m] Dychwelwch attolwg, na fydded anwir-
edd [ynoch:] ië troiwch etto [cewch weled] fyng-
hyfiawnder yn hyn.
30 [n] A oes anwiredd yn fy nhafod? oni ddeall nIago 3 13
taflod fyng-enau gamwedd? Heb 5,14

## PEN. VII.

*Iob yn achwyn fyrred, a blined oedd ei oes.*

ONID [o] amser terfynedic [sydd] i ddyn ar oPen 14 14
y ddaiar? ai ddyddiau ef megis dyddiau Esa.38,5
gwas cyflog?
2 [p] Megis y dyheûa gwas am cyscod: ac y p1Cor.15 58
digwil cyflog-ddyn [ddiwedd] ei waith:
3 [q] Felly y gwnaethpwyd i mi feddiannu
misoedd o oferedd: a nosweithiau o boen a qSal. 39 Pen 29,2
osodwyd i mi.
4 [r] Os gorweddwn, yna y dywedwn, Pa bryd rDeut 28
y codaf, ac yr ymedu y nos? canys caf ddigon 65
o ymdroi hyd y cyfddydd. Sal. 88, 4
5 [s] Fyng-nhawd a wiscodd bryfed, a llwch
priddlyd: fyng-hroen a agennodd, ac a aeth yn sEsa. 14 11
ffiaidd. Pen 17,4.
6 [t] Fy nyddiau oedd gynt na gwennol gwe- tSal. 90,6
hydd: ac a ddarfuant heb obaith. Esa.33,12
7 [u] Cofia mai gwynt [ydyw] fy hoedl: ni ddy- uSal. 108
chwel fy llygad i weled daioni. 15
8 [v] Y llygad a'm gwelodd ni'm gwel [mwyach:] vPreg. 1 4, 5
dy lygaid ti [ydynt] i'm herbyn fel na [byddwyf] Sal. 6, 8
i [mwyach.]
9 [w] Fel y derfydd cwmwl, ac yr aiff ymmaith: w2Sam.
felly'r hwn fydd yn descyn i'r bedd ni ddaw i 12, 23
fynu [mwyach.]
10 [x] Ni ddychwel mwy iw dŷ: ai le ni's edwyn xPreg.12
ef mwy. 5
11 [y] Gan hynny ni orafunaf i'm genau, mi a ySal.39,1
lefarafyng-hyfyngdra fy yspryd: myfi a gwynaf 9
gan ofid fyng-halon,
12 [z] Ai môr ydwyf, ai morfil, gan dy fod yn zPen6,12
gosod cadwrieth arnaf? Galar. 3 7
13 [a] Pan ddywedwn Fyng-wely am cyssura: fyng- aSal.41,3
orweddfa a esmwythâ o herwydd fy myfyrdod.
14 [b] Yna ti a'm brawychit a breuddwydion: ac b Deut 28,34
a'm dychrynit â gweledigaethau.
15 Am hynny y dewise fy enaid ymdagu: [a]
marwolaeth yn fwy na'm hoedl.
16 [c] Ffieiddiais [enioes,] ni byddafi byw byth: cSal. 39 13
paid a mi, canys oferedd [ydyw] fy nyddiau.
17 [d] Pa beth [ydyw] dŷn pan fawrheit ef? a dSal. 8,4
phan osodit dy feddwl arno ef?
18 [e] Ac ymweled ag ef bob borau? ai brofi ef eSal. 88
ar bob moment? 16
19 [f] Pa hŷd [y byddi] heb droi oddi wrthif, ni fSal. 39
adewi fi yn llonydd tra llyngcwyf fy mhoeryn. 10
20 [g] Myfi a bechais, beth a wnaf i ti, O geidwad
dŷn, pa ham y gosodaist fi yn nôd i ti: fel y gSal. 32 3, 4
byddwyf yn faich i mi fy hun?
21 [h] A pha ham na faddeui di fyng-hamwedd, hIoan 1 29
ac na fwri heibio fy anwiredd? canys yn awr yn Esa. 53,4
y pridd y gorweddaf, a thi a'm ceisi yn forau, 9
ond ni'm [ceir.]

## PEN. VIII.

*Bildad yn ceryddu Iob gan ddangos mai yr annuwiol a gospa Duw yn ddirfawr. 20 Ac morr ddaionus fydd efe i'r rhai duwiol.*

YNA Bildad y Suhiad a attebodd, ac a ddywedodd,

2 [i] Hyd pa hyd y dywedi di hynny: ac [y bydd] geiriau dy enau yn wynt cryf?

3 [j] A ŵyra Duw farn? ac a ŵyra'r Holl-alluog gyfiawnder?

4 [k] Os dy feibion a berchasant yn ei erbyn ef: am hynny y gollyngodd efe hwy i feddiant eu camwedd eu hun.

5 [l] Os tydi a foreu-godi at Dduw, ac a weddîit ar yr Holl-alluog,

6 [m] Os pur, ac iniawn [fyddi] di, yn wir efe a ddeffru attat ti yr awron, ac a wna drigfa dy gyfiawnder yn llwyddiannus.

7 [n] Er bod dy ddechreuad yn fychan: etto dy ddiwedd a gynnydda yn ddirfawr.

8 [o] O blegit gofyn attolwg i'r oes gyntaf, ac ymbaratôa i chwilio eu henafiaid hwynt.

9 [p] Canys [er] doe'r ydym ni, ni wyddom [ddim,] o herwydd cyscod [yw] ein dyddiau ni ar y ddaiar.

10 [q] Onid hwynt a'th ddyscant di, oni ddywedant i ti? ac [oni] ddygant ymadroddion allan oi calon?

11 A gyfyd brŵyn heb wlybanieth? a dyf gwair-glodd heb ddwfr?

12 Tra fyddo hi etto yn ei ffrwyth heb ei thorri, y gwywa hi o flaen pob glas-welltyn.

13 [r] Felly [y mae] llwybrau pawb a'r sydd yn gollwng Duw dros gof: ac y derfydd am obaith y rhagrhithiwr.

14 [s] Yr hwn y torir ymmaith ei hyder: ac [fel] tŷ pryf-coppyn [y bydd] ei obaith ef.

15 [t] Efe a bwyssa ar ei dŷ, ac ni saif: efe a ymaffel ynddo, ac ni pheru.

16 [u] Y mae efe [fel pren] îr o flaen yr haul: a thros ei ardd y daw ei frig.

17 [v] Plethir ei wraidd ef yng-hylch ffynnon, [o amgylch] tŷ cerrig y try efe.

18 [w] Os diwreiddia efe allan oi le: efe ai gwâd ef [gan ddywedyd,] ni'th welais.

19 [x] Wele dyma y modd y llawenycha efe: sef gallu o honaw flaguro mewn pridd arall.

20 [y] Wele ni ddiystyra Duw y perfaith: ac nid ymeifl efe yn llaw y rhai drygionus,

21 [z] Oni lanwo efe dy enau di a chwerthin: a'th wefusau o orfoledd.

22 [a] [Oni] wiscer dy gasedigion di â chywilydd, fel na byddo lluestŷ'r annuwiol.

## PEN. IX.

*Iob yn cydnabod gallu, cyfiawnder, a doethineb Duw; a diffig dyn, ac er hynny yn cwyno rhac ei adfyd.*

AC [b] Iob a attebodd, a ddywedodd,

2 [c] Yn wir mi a wn mai felly [y mae:] canys pa fodd y cyfiawnheuir dŷn, [o chyd-ystyrir ef] a Duw?

3 [d] Os myn efe ymryson ag efo: nid ettyb iddo ef [am] un [peth] o fil.

4 [e] Y mae efe yn ddoeth o galon, ac yn alluog o nerth; pwy a galedodd [ei galon] yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd?

5 [f] Yr hwn sydd yn symmud mynyddoedd heb wybod iddynt; hwn sydd yn eu dymchwelyd hwynt yn ei ddigofaint.

6 [g] Yr hwn sydd yn cynhyrfu y ddaiar allan oi lle; fel y cryno ei cholofnau hi.

7 [h] Yr hwn a ddywed wrth yr haul: ac ni chyfyd; ac a selia ar y sêr.

8 [i] Yr hwn sydd yn tanu y nefoedd yn unic; ac yn sathru ar donnau y môr.

9 [j] Yr hwn sydd yn gwneuthur Arcturus, Orion a Phleiades, ac stafelloedd y dehau.

10 [k] Yr hwn sydd yn gwneuthur [pethau] mawrion anchwiliadwy; a rhyfeddodau anneirif.

11 [l] Wele efe aiff troso fi, ac nis gwelaf; ac efe a aiff heibio, ac ni chanfyddaf mo honaw.

12 [m] Wele efe a sclyfaetha, pwy a wna iddo dalu; pwy a ddywed wrtho ef, Pa ham y gwnei di [felly?]

13 [n] Ni thry Duw ei ddigllonedd ymmaith; tano ef y crymmwyd cynhorthwy-wŷr balchder.

14 [o] Pa faint llai'r attebaf iddo ef? [ac] y gallaf ddewis fyng-eiriau [iw dywedyd] wrtho ef?

15 [p] I'r hwn pe bawn cyfiawn nid attebwn, eithr ymbiliwn a'm barn-wr.

16 [q] Os galwn, a phe attebe efe i mi, ni chredwn y gwrandawe efe fy lleferydd.

17 [r] Yr hwn a'm dryllia a chorwynt; ac a amlhâ fy archollion yn ddi-achos.

18 [s] Ni ddioddef efe i mi gymmeryd fy anadl attaf; canys efe a'm lleinw a chwerwder.

19 [t] Os am gadernid, wele ef yn gadarn; ac os am gyfraith, pwy a ddadleua trosofi?

20 [u] Os myfi a ymgyfiawnhaf fyng-enau a'm barn yn euog; [os] perffaith [y cymmerwn i arnaf fy mod] efe a'm barn fi yn drofaus.

21 [v] Pe byddwn berffaith [etto] nid adwen i fy enaid: ffiaidd gennyf fy einioes.

22 [w] Dymma un peth, am hynny y dywedais, Y mae efe yn difetha y perffaith fel yr annuwiol.

23 [x] Er lladd o honaw ef a ffrewyll yn ddisymmwth; a watwar efe am benn cospedigaeth rhai diniwed?

24 [y] Y ddaiar a roddwyd yn llaw'r annuwiol, efe a fwrw hûg dros wynebau ei barn-wyr hi; onid ê, pa le [y mae efe? a] phwy [yw efe a ddengys y gwrthwyneb?]

25 [z] A'm dyddiau mau fi fuant gynt na rhed-

eg-wr; ffoasant heb weled daioni.
26 [a] Aethant heibio [megis] gyd a llongau bu- 
a1Cor. 8 31 an; megis yr eheda eryr at ymborth.
27 [b] Os dywedaf, Gollyngaf fyng-hwyn dros
bGalat.3 19 gof; mi a adawaf fy nigllondeb, ac a gryfhâf.
28 [c] [Yna yr] ofnaf fy holl ddoluriau; gwn
aSal. 119 120 na'm berni yn wirion.
29 [d] [Os] euog fyddaf; pa ham yr ymflinaf felly
d1Pedr2 20 yn ofer?
30 [e] Os ymolchaf mewn dwfr eira; ac [os]
eSal.26,6 glanhaf fy nwylaw yn lân;
31 Yna di a'm trochi mewn pwll; a'm dillad
a'm drewant.
32 [f] Canys nid gŵr fel myfi [ydyw yr hwn] y
fNum.23 19 mae yn rhaid i mi atteb iddo ef, [pan] ddelom
yng-hyd i'r farn.
33 [g] Nid oes rhyngom ni gryf ddyddiwr, [yr
g1 Ioan 2,1 hwn] a osodo ei law arnom ein dau.
34 [h] Tynned ymaith ei wialen oddi arnaf; ac
hSal. 90 11 na ddychryned ei ddychryn ef fi.
35 [i] Yna y dywedaf, Ac nid ofnaf ef; canys
iPen33,6 nid ydwyfi felly ynof fy hun.

## PEN. X.

*Job yn attolwg i Dduw ystyried wrth ei adfyd ef, ac edrych ar ei fuchedd ef: a byrhau ei oes rhag ei blyned.*

j1Bren. 19,4 MARW [j] ydwyf er fy mod yn fyw; arnaf
Sal. 38,3 4,5 fy hun y gadawaf fyng-hŵyn, ac yn
chwerwder fy enaid y llefaraf.
2 [k] Dywedaf wrth Dduw, Na farna fi yn euog;
kDiar 17 15 Rhuf.8 34 gwna i mi wybod pa ham yr ymrysoni a mi.
3 [l] Ai da i ti orthrymmu, a diystyru llafur dy
lEph. 2 10 ddwylaw? a llwyddo cyngor yr annuwolion?
Sal.138,8 4 [m] Ai llygaid o gnawd sy i ti? ai fel y gwel
m Dat.1 15 1Sam. 16 7 dŷn y gweli di?
5 [n] A ydyw dy ddyddiau di fel dyddiau dŷn?
nAct. 15 18 [a ydyw] dy flynyddoedd di fel blynyddoedd
2Pedr 3, 8 gŵr?
oDat.20,4 6 [o] Pan geisi fy anwiredd; a phan ofynni am
fy mhechod?
pSal. 139 7 [p] Ti a wyddost nad ydwyf euog; ac nid [oes]
Jer. 26,1 2 a waredo allan o'th law di.
Ioan 10, 29 8 Dy ddwylaw di a'm gweithiasant, ac a'm
cyd-wnaethant o amgylch; gan hynny a ddi-
fethi di fi?
9 [q] Cofia attolwg mai fel clai y gwnaethost fi;
q2Cor. 5 1 Rhuf. 9 21 ac i'r pridd y dygi fi drachefn.
10 [r] Oni thywelltaist fi fel llaeth? ac oni cheul-
r Act. 17 26 aist fi fel caws?
s 2Cor.5 4 11 [s] Ti a'm gwiscaist i â chroen, ac â chnawd;
ti a'm cyssylltaist fi ag escyrn, ac â giau.
t Mat. 6 25 12 [t] Bywyd, a thrugaredd a ddarperaist i mi,
a'th ymgeledd a gadwodd fy yspryd.
u Sal. 22 9 13 [u] A'r rhai hynny a guddiaist di yn dy ga-
lon; [er hynny] gwn fod hyn [mewn cof] gennit.
vSal. 139 14 [v] O phechais, ti a'm gwiliaist; ac ni'm glan-
heuoddi wrth fy anwiredd.

15 [w] Os ydwyf annuwiol gwae fi, ac os cyf- w Esa. 3 10
iawn ydwyf [er hynny] ni chodaf fy mhen, [yr Ex. 3,7
ydwyf morr] llawn o warthrudd, ac yn gweled
fyng-hystudd.
16 [x] Cynnydded [fyng-hystudd,] hela fi fel llew; x Esa. 27 8
er hynny ti a ddychweli, ac a wnei yn rhyfedd Pen42,10
a mi.
17 [y] Yr wyt ti yn adnewyddu dy dystion i'm y Ruth 1 21
herbyn, ac yn amlhau dy ddigofaint wrthif; Sal.73, 4
llawer, ac amryw [ddialeddau ydynt] arnaf.
18 [z] Pa ham gan hynny y dygaist fi allan o'r z Pen 3, 11
groth; [O na] buaswn farw, fel na'm gwelse a 7, 8
llygad.
19 [O na] byddwn megis pe na buaswn; [ac
na'm] ducsid o'r bru i'r bedd.
20 [a] Ond ychydig [yw] fy nyddiau, peidied, aSal.39,13
cilied oddi wrthif; fel y cryfhauwyf ychydig.
21 [b] Cyn myned o honof lle ni ddychwelaf, i b2Cor. 5 1
dir tywyllwch a chyscod angeu.
22 [c] Tir cyn dywylled a'r fagddu, [ac a] chys- cEx. 10, 23
cod angeu, ac heb drefn; lle y mae y goleuni Amos 4 13
fel y tywyllwch. Mat.6,23

## PEN. XI.

*Zophar yn ceryddu Job am ymddyried yn ei gyfiawnder ei hun, 7 Gan ddangos anfeidroldeb doethineb Duw, ai gyfiawnder. 13 Efe yn cynghori Job i edifarhau, gan ddangos fod daioni Duw yn barod i bawb onid i'r annuwiol anedifeiriol.*

A ZOPHAR y Naamathiad a attebodd, ac
a ddywedodd,
2 [d] Oni attebir yr aml o eiriau? ac a gyfiawn- dAct. 17 18
heuir gwr siaradus.
3 [e] Ai dy gelwyddau a wnant i wŷr dewi? a Iago 1,19
phan watwarech oni bydd a'th wradwyddo? e Pen 10 13
4 [f] Canys dywedais, Pur [ydyw] fy nysgeid- fPen6,30
iaeth: a glân ydwyf yn dy olwg di. a 6, 10
a 9, 2, 3
5 Ond O na lefare Duw: ac [nad] agore efe a 10, 7
ei wefusau yn dy erbyn,
6 [g] A mynegu i ti ddirgeledigaethau doethineb, g Eph 3 10
mai dau cymmeint wrth gyfiawn[der yw. Gwybydd-] Dan 2 28
aist]; cydnebydd gan hynny i Du[w dy] ang- Gal 3,22 29
hofio di am dy anwiredd.
7 [h] A gei di ddyfnder [doethineb] Duw? a gei h 1Cor 2. 9
berffeithrwydd yr Hollalluog? Eph 3,19
8 [i] Uwch na'r nefoedd [ydyw efe,] beth a wnei i Eph 3 18
di? dyfnach nag uffern [yw efe,] pa fodd yr ad- a 4, 10
weini di ef?
9 [Mae] ei fesur ef yn hwy na'r ddaiar; ac yn
lled na'r môr.
10 [j] Os tyrr efe ymmaith, os carchara efe; os jPen 9,12
cascla efe yng hyd, pwy ai dychwel ef? Rhuf9,19
11 [k] Canys efe a edwyn ofer ddynion; ac a kSal 52,9
wêl anwiredd, oni ddeall efe gan hynny?
12 [l] Dyn gwag er hynny a gymmer arno ei fod l Rhuf 1. 22
yn ddoeth; er geni dyn fel llwdn assyn gwyllt.
13 [m] Os dydi a barotoi dy galon, ac a estynni
dy ddwylaw atto ef. m 2Cron. 12, 14

n1Tim 2 8 14 [n] Od oes ddrygioni yn dy law, bwrw ef
ymmaith ym-mhell; ac na ddioddef i anwiredd
drigo yn dy luestai,
o1Ioan 3 21 15 [o] Canys yna y codi dy wyneb o'r brychau;
y byddi hefyd safadwy, ac nid ofni;
p Esa 65 16 16 [p] Eithr ti a ollyngit ofid dros gof; fel dyfr-
oedd [y rhai] a aethant heibio y cofit [ef.]
q Phil 2 15 17 [q] Dy oedran hefyd a dderchafe uwch law
[haul] hanner dydd: llewyrchit [a] byddit fel y
boreu-ddydd.
r Lef 26,5 Sal 4, 8 18 [r] Hyderus fyddit hefyd, canys bydde go-
baith: pan gloddit luestfa y gorweddit mewn
diogelwch.
s Diar 3 24 19 [s] Yna ti a ellit orwedd, ac ni [bydde a'th]
ddychrynne: a llawer a ymbilient â'th wyneb.
t Lef 26, 16 20 [t] Llygaid yr annuwolion a ddeffygiant, metha
Est 5, 15 Deut 28 17 ganddynt ffoi: ai gobaith [fydd] gofid calon.

## PEN. XII.

*Iob yn datcuddio ynfydrwydd ei gyfeillion, ac yn cydnabod doethineb Duw, ai allu.*

u Pen 11 12 Diar 28 11 A C Iob a attebodd, ac a ddywedodd,
2 [u] Diau mai chwychwi [sy] bobl: a chyd
1Cor 4, 8 Ioan 7,49 â chwi y bydd marw doethineb.
3 [v] Eithr [y mae] gennifi ddeall fel chwithau:
v2Cor 11 5 nid ydwyfi waeth na chwithau, a phwy ni ŵyr
y fath bethau a hyn?
4 [w] Yr ydwyf [fel un a fydde] yn watworgerdd
w Sal 14 6 iw gyfell, yr hwn a eilw ar Dduw, ac efe ai het-
1Sam 1,7 tyb: gwatworgerdd [yw] y cyfiawn [a'r] perffaith.
x Ier. 20 10 5 [x] Pentewyn diystyr ym meddwl y llwyddian-
y Ier 12,1 nus [yw] yr hwn sydd barod i lithro oi draed.
Hab. 1,3 4 6 [y] Luestai heddychol sydd i yspeil-wyr, a di-
ogelwch i'r rhai sydd yn cyffroi Duw: y rhai a
zRhuf. 1 20 gyfoethogodd Duw ai law.
Diar. 6,6 7 [z] Ond gofyn yn awr i'r anifeiliaid, a hwynt
7 a'th ddyscant, ac i ehediad yr awyr, a hwy a
Ier. 8,7 fynegant i ti.
8 [illegible] ddywet wrth y ddaiar, a hi a'th ddysc:
aCol 1,17 a [illegible] a yspysant i ti.
Heb. 1,9 9 [a] P[illegible] y rhai hyn oll, mai llaw'r
bDan. 5, 23 Arglwy[illegible] gwnaeth hwy?
10 [b] Yr hwn [y mae] enioes pob peth byw yn
cPen 34, 3 ei law: ac anadl pob math ar ddyn.
11 [c] Onid y glust a ddirnad ymadroddion, a'r
dPen 32, 7 genau a archwaetha ei fwyd?
12 [d] Doethineb [sydd] mewn henuriaid: a
eIago1,5 deall mewn hir ddyddiau.
13 [e] Gyd âg ef [y mae] doethineb, a chadern-
fMal.1,4 id: cyngor, a deall [ydynt] eiddo ef.
14 [f] Wele efe a ddestruwia, ac nid adailedir;
g Act.14 17 efe a gae ar wr, ac nid agorir arno.
15 [g] Wele efe a attal y dyfroedd, a hwy a sych-
ant: efe ai denfyn hwynt, a hwy a ddifethant y
hSal.29,1 ddaiar.
16 [h] Gyd ag ef y mae nerth a doethineb: efe
piau y twylledic, a'r twyllodrus.

17 [i] Efe sydd yn gwneuthur i gynghoriaid fyned iCol.2,15
yn anrhaith: ac efe a ynfyda farn-wyr. jDan. 2, 21
18 [j] Efe sydd yn dattod rhwym brenhinoedd:
ac yn rhwymo gwregis am eu lwynau hwynt. kDat. 19 18
19 [k] Efe sydd yn gwneuthur i dywysogion
fyned yn anrhaith: ac a blyga y rhai cedyrn. l2Sam.15
20 [l] Efe sydd yn dwyn ymadrodd yr araith- 37
wyr: ac yn dwyn synwyr y rhai hen. mAct.18
21 [m] Efe sydd yn tywallt diystyrwch ar dyw- 22 n 1Cor. 2
ysogion: ac yn gwanhau y rhai cryfion o nerth. 2, 10
22 [n] Efe sy yn datcuddio [pethau] dyfnion Preg. 7 24
allan o dywyllwch: ac yn dwyn cyscod angeu
allan i oleuni. o Gen. 5
23 [o] Efe sydd yn amlhau y cenhedloedd, ac 6 a 11, 11
efe ai destruwiau hwynt: efe sydd yn ehangu
ar y cenhedloedd, ac efe ai dwg hwynt [i gyf-
yng-dra.]
21 [p] Efe sydd yn dwyn calon pennaethiaid pobl pRhuf. 1 21
y ddaiar: ac efe a wna iddynt hwy fyned ar gyfr-
goll mewn gwag-le heb ffordd. qGen.19,
25 [q] Hwynt a balfalant â thywyllwch, ac nid 11
â goleuni; ac efe a wna iddynt hwy gyfeiliorni 2Bren.6, 18
fel meddwyn.

## PEN. XIII.

*Iob yn ymgystadlu ai gyfeillion mewn doethineb. 15 Gobaith Iob. 20 Ai ddeisyfiad ar Dduw.*

WELE fy llygad a welodd [hyn] oll: fy-
nghlust a glywodd, ac ai deallodd. r1Cor.11 6
2 [r] Mi a wn yn gystal a chwithau, nid ydwyf
waeth na chwithau. sGen. 19
3 [s] Yn wir myfi a lefaraf wrth yr Holl-alluog; 5
ac yr ydwyf yn chwennychu ymrysymmu a Duw. tGal. 6,1
4 [t] Ond rhai yn iassio celwydd [ydych] chwi: Zec. 11, 1Tim.1,7
meddygon diddim ydych chwi oll. uDiar.17 28
5 [u] Oh gan dewi na thawech: a [hynny] a fydde
i chwi yn ddoethineb. v Iago 1 19
6 [v] Clywch attolwg fyng-herydd; a gwran-
dewch ar reswm fyng-wefusau. wRhuf.3 9
7 [w] A ddywedwch chwi anwiredd tros Dduw? Pen 8, 3
ac a ddywedwch chwi dwyll er ei fwyn ef?
8 [x] A dderbynniwch chwi ei wyneb ef; a ym- xIoan 16, 2
rysonwch chwi tros Dduw?
9 [y] Ai da [fydd hyn] pan chwilio efe chwi? a y 1 Sam. 15, 11
dwyllwch chwi ef fel twyllo dyn? Gal. 6, 7 zPen 42, 7
10 [z] Gan geryddu efe a'ch cerydda chwi: os
derbynniwch chwi wyneb yn ddirgel. a Pen 9, 34
11 [a] Oni ddychryna ei arddercbawgrwydd ef
chwi? ac oni syrth ei arswyd ef arnoch? bDiar.30 7
12 [b] Cyffelyb i ludw [ydyw] eich coffadwriaeth
chwi: a'ch cyrph chwi i gyrph o glai. cDiar.28 1
13 [c] Tewch yn fyng-ŵydd i fel y llefarwyf in-
ne: a deued arnaf yr hyn [a ddelo.] dPedr.4, 19
14 [d] Pa ham y cymmeraf fyng-nhawd a'm dan-
nedd? ac y gosodaf fy enaid yn fy llaw: eRhuf. 8 38
15 [e] Pe lladde efe fi, mi a obeithiwn ynddo ef: er
hynny fy ffyrdd fy hun a argyoeddaf ger ei fron ef.

gMat. 25 16 ᵍ Hefyd efe [sydd] yn iechydwriaeth i mi:
31 canys ni ddaw rhagrithiwr yn ei ŵydd ef.
gEsa. 55 17 ᵍ Gan wrando gwrandewch fy ymadrodd:
3 ac ystyriwch a fynegwyf i'ch clustiau.
hRhuf. 8 18 ʰ Wele yn awr paratoais farn: gwn i'm cyf-
38 iawnheuir fi.
iRhuf.8, 19 ⁱ Pwy ydyw ['r hwn] a ymryson a mi? ca-
33 Ier. 20,9 nys yn awr [os] tawaf mi a drengaf.
Pen32,17 jPen9,34 20 ʲ Ond dau [beth] na wna di i mi: yna nid
35 a 33,7 ymguddiaf rhagot.
kSal. 39, 21 ᵏ Pellha dy law oddi arnaf: ac na ddy-
4 chrynned dy ddychryn fi.
lSal.26,1 22 ˡ Galw yna, ac myfi a attebaf: neu myfi a
2 a 143,2 lefaraf, ac atteb di fi.
mSal. 19 23 ᵐ Pa faint o gamweddau, ac o bechodau sy
12 yn ol? par di i mi adnabod fyng-hamwedd a'm
pechod.
n Esa. 8 24 ⁿ Pa ham y cuddi di dy wyneb? ac y cyf-
17 rifi di fi yn elyn i ti?
oMat. 12 25 ᵒ A ddrylli di ddeilen escwydedic? a ym-
20 lidi di sofliun sych?
pPen. 20 26 ᵖ Canys yr wyt ti yn scrifennu pethau
11 chwerwon yn fy erbyn: ac yn gwuenthur i mi
feddiannu [cosp] camweddau fy ieuengctid.
qPen 33 27 ᑫ Ie yr ydwyt ti yn gosod fy nhraed mewn
11 cyffion, ac yn gwilied fy holl lwybrau: [ac] yn
peri [i'r cyffion] ymnoddi am fy fferau.
rSal. 102 28 ʳ A'r cyfryw un megis pydrni a heneiddia,
26 fel dilledyn yr hwn a yssa gwyfyn.

## PEN. XIV.

*Iob drachefn yn dangos fyrred, a blined oes dyn.*

sSal.90,5 DYN [yr hwn] a aned o wraig [sydd] fyrr
6 7 o ddyddiau a llawn o helbul.
tIago 4, 2 ᵗ Fel blodeun y daw allan, ac y torrir ef ym-
13 Esa. 40,6 maith: ac efe a gilia fel cyscod, ac ni saif.
Sal. 54 3 ᵘ A agori di dy lygaid ar y fath ymma? ac
5 a 144,3 a ddygi di fi i gyfraith a thi?
Sal.51,5 Rhuf. 5, 4 ˣ Pwy a rydd [beth] glân o [beth] aflan? neb.
12 yHeb. 9 5 ʸ Ouid [ydyw] ei ddyddiau ef wedi eu rhac-
27 derfynu? rhifedi ei fisoedd ef [ydynt] gyd â thi:
Pen 7,1 [os] gwnaethost ei derfynau fel nad el efe dros-
tynt,
Dat. 14 6 ᶻ Tro oddi wrtho ef fel y gorphwyso, oni or-
13 Esa. 57,2 phenno efe yn ewyllyscar ei ddydd fel gwas
cyflog.
Preg. 1 7 ʸ Canys y mae gobaith i bren er ei dorri y bla-
4 1Cor. 15 gura efe etto: ac na phaid ei frig ef [a thyfu.]
36 8 Os heneiddia ei wreiddin ef yn y ddaiar: ac
Esa.26,19 [os] marweiddia ei fon-cyff ef yn y pridd,
9 Efe a flagura oddiwrth arogl dyfroedd: ac
a fwrw ganghennau fel planhigin.
Preg. 1 10 ᶻ Ond gŵr a fydd marw, ac a dorrir ym-
4 Pen19,29 maith: a dyn a drenga a pha le y [bydd] efe?
11 [Fel] y mae dyfroedd yn myned allan o'r
môr; ac afon yn myned yn ddiyspydd, ac yn
sychu:

12 ᵃ Felly gŵr a orwedd ac ni chyfyd, ni ddi- aDeut.31
hunant, ac ni ddeffroant oi cwsc hyd oni byddir 16 2 Pedr 3
heb nefoedd. 10 Dat. 11,1
13 ᵇ O na osodid fi mewn bedd, [na'm] cuddit bSal. 91,1
fi hyd oni throit dy lid ymmaith: [na] osodit ti
derfyniad i mi, a'm cofio.
14 ᶜ Os bydd gŵr marw, a fydd efe byw [drach- cMat. 22
efn?] disgwiliaf holl ddyddiau fy milwriaeth hyd 29 1Cor. 15
oni ddelo fyng-hyfnewidiad. 31 Pen15,11
15 ᵈ Gelwi, ac myfi a'th attebaf: hiraethi am d 1Thes.
waith dy ddwylaw. 4, 16 Ioan5,28
16 ᵉ Canys yr awr hon y rhifi fyng-hamreu: eSal. 139
nid oedi [gosp] am fy mhechod. 2, 3
17 ᶠ Fyng-hamwedd a selied mewn côd: a thi f Pen. 13
a chwanegaist ar fy anwiredd. 26
18 ᵍ Ac yn wir mynydd yr hwn a syrthio a ddif- g Heb. 8
lanna: a chraig a symmudir oi lle. 13
19 ʰ Dyfroedd a dreuliant gerric, ti a godi trwy h Luc 12
lifeiriant [o] bridd y ddaiar ei chnwd hi, yr hwn 19 Ier. 17, 6
sydd yn tyfu o hono eu hun: felly'r wyt ti yn
gwneuthur i obaith dŷn golli.
20 ⁱ Yr wyt ti yn ei orchfygu ef yn dragywydd, iEx. 15,3
fel yr elo efe ymmaith: ac yr wyt ti yn ei ddan- Dat.17,14
fon ef i ffordd gan newidio ei wyneb ef.
21 ʲ Ei feibion ef a gyfoethogi, ac nis gwybydd jPreg. 2,
efe: a hwy a dlodir, ac ni ŵyr efe oddi wrth- 19
ynt hwy.
22 ᵏ Ond ei gnawd tra [fyddo] efe arno, a ddo- kPen 21
luria, ai enaid a alara [tra fyddo] ynddo ef. 32

## PEN. XV.

*Eliphaz yn beio ar Iob am annoethineb, a rhyfyg yn erbyn Duw, gan ddangos iddo gyfiawnder Duw yn cospi yr annuwiol.*

YNA Eliphaz y Themaniad a attebodd, ac
a ddywedodd,
2 ˡ A ettyb [gŵr] doeth wybodaeth o wynt? ac lPen 13,2
a leinw efe ei fol a dwyrein-wynt? Neh.6,11
3 ᵐ A argyoedda efe a gair [yr hwn] ni fuddia? mCol.4,6
ac ag ymadroddion [y rhai] ni wna efe lessâd â Mat. 12,
hwynt. 36. 37
4 ⁿ Yn ddiau ti a dorraist ymmaith ofn: yr n1Pedr3
ydwyt yn attal [dy] weddi [oddi] ger bron Duw. 7
5 ᵒ Canys dy enau sy yn dangos dy anwiredd: oPen16,5
gan i ti ddewis tafod y rhai dichellgar.
6 ᵖ Dy enau sydd yn dy fwrw yn euog, ac nid pLuc 19,
myfi: a'th wefusau sydd yn testiolaethu yn dy 22
erbyn.
7 ᑫ A aned tydi yn gyntaf dyn? a lunied tydi qPen. 15
o flaen y bryniau? 8
8 ʳ A glywaist ti gyfrinach Duw? ac a atteli r Rhuf.
di ddoethineb gyd a thi? 11, 33 Pen 12, 2
9 ˢ Beth a wyddost ti ar na's gwyddom ni? sPen. 13
[beth] a ddealli di heb fod hynny hefyd gennym 2
ninnau? t1Cor. 8,
10 ᵗ Y mae yn ein mysc ni hen, ac oedrannus 2 uHeb. 12
hefyd: hynach o oedran na'th dâd ti. 5 2Cor.1,3
11 ᵘ Ai bychan gennit ti ddiddanwch Duw? 1 Bren. 22,21

neu a oes dim yn ddirgel ynot ti?
12 Pa beth sydd yn dwyn dy feddwl oddi ar-
nat? a pha ham yr amneidia dy lygaid?
v Pen. 7 20 13 [v] Gan i ti droi dy feddwl yn erbyn Duw:
a 9, 30 a dwyn y [fath] eiriau allan o'th enau?
a 13, 26 w Diar. 14 [w] Pa beth [yw] dyn i fod yn bur: a'r hwn
20, 9 a aned o wraig i fod yn gyfiawn?
x Pen 4, 18 15 [x] Wele ni chafodd efe ffyddlondeb yn ei
2 Pedr 3, 10 sainct: a'r nefoedd nid ydynt bur yn ei olwg ef.
y Sal. 14, 4 16 [y] Pa faint mwy ffiaidd, a drewedic [ydyw]
dŷn, yr hwn sydd yn yfed anwiredd fel dyf-
roedd?
z 1Cor. 11 23 17 [z] Dangosaf i ti, gwrando arnaf: a'r hyn a
welais a fynegaf.
a Gen. 18 18 18 [a] Yr hyn y mae gwŷr doethion yn ei fynegu:
ac nid ydynt hwy yn celu [yr hyn a gawsant]
gan eu henafiaid.
b Ioel 3, 17 Amos 5, 19 [b] I'r rhai hynny y rhoddwyd y ddaiar yn unic:
17 ac ni ddaeth alltud yn eu plith hwy.
c 1Tim. 6 20 [c] Holl ddyddiau'r annuwiol y bydd efe yn
9, 10 ymofidio: a[thros] rifedi y blynyddoedd y rhai a
Pen 36, 16 guddiwyd oddi wrth y cadarn.
d Lef. 26 36 21 [d] Llais ofnadwy [sydd] yn ei glustiau ef:
Diar. 11, 26 mewn heddwch y daw y dinistrudd atto ef.
Ier. 23, 4 22 [e] Ni chrêd efe ddychwelyd allan o dywyll-
e 2Bren. 6, 33 wch: canys y mae efe yn canfod y cleddyf.
Mat. 27, 5 23 [f] Y mae efe yn crwydro am fara lle [y byddo:]
f Sal 55, 7 a 109, 10 efe a ŵyr fod dydd tywyllwch yn barod wrth ei
Gen. 4, 12 law.
g 1Cor. 10 13 24 [g] Cystudd, a chyfyngdra ai brawycha ef:
[ac] ai gorchfyga ef fel brenin parod i ryfel.
h Mal. 3 13 25 [h] Canys efe a estynodd ei law yn erbyn
Duw: ac yn erbyn yr holl-alluog yr ymnerth-
odd efe.
i Dat. 17 14 26 [i] Efe a rêd yn y gwddf iddo ef: trwy de-
wdwr torau ei dariannau.
j Sal. 17, 10 27 [j] Canys tôdd efe ei wyneb ai frasder: ac a
wnaeth dyrch [o floneg] ar [ei] dynewyn.
k Pen 3, 14 28 [k] A thrigodd mewn dinasoedd wedi ei din-
isdrio, [a] thai angyfanneddol: y rhai oeddynt
barod [i fod] yn garneddau.
l 1Tim. 6 9 29 [l] Ni chyfoethoga efe, ni pheru ei olyd ef
ychwaith; ac nid ymestyn eu perffeithrwydd
hwy ar y ddaiar.
m 2Thes. 2, 8 30 [m] Nid ymedu efe allan o dywllwch, y fflam
Dat. 19, 15 a wywa ei frig ef; ac efe a ymedu trwy yspryd
ei enau ef.
n Diar. 11 4 31 [n] Ni chrêd [yr hwn] a dwylled drwy oferedd,
mai oferedd fydd ei obr ef.
o Diar. 10 27 32 [o] Efe a dorir ymaith cynn ei ddydd; ai
gangen ni lassâ.
p 1 Bren. 27, 21 33 [p] Efe a ddihidla ei rawn surion fel gwin-
wydden; ac a fwrw ei flodeun fel oli-wydden.
q Pen 22 34 [q] Canys cynuulleidfa rhagrith-wŷr sydd
r Esa. er 3 unic: a thân a yssa luestai gwobr-wŷr.
9, 10 a 1, 9, 10 35 [r] O herwydd eu bol hwy a ddarpare dwyll,
gan ymddwyn gofid, ac escor ar anwiredd.

## PEN. XVI.

*Y rhagoriaeth oedd rhwng naturiaeth Iob, a naturiaeth ei gyf-
eillion. 7 Iob yn dangos pa sawl amryw ddrygioneb a ddig-
wyddase iddo ef. 19 Ac yn cymmeryd Duw yn dyst ei
ddiniweidtra.*

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd,
2 [s] Clywais fel hyn lawer [gwaith:] cyssur- s Pen 19
wyr gofidus [ydych] chwi oll. 23 a 15, 2 Phil 1, 16 Pen. 13, 4
3 Oni [cheir] diwedd ar eiriau ofer? neu pa
beth fydd yn dy gryfhau di i atteb? t 1Cor. 4
4 [t] A ddywedwn i fel chwithau, pe bydde eich 13 1Pedr 3,
enaid chwi yn lle fy enaid i, a gydiwn i â chwi 9
mewn geiriau? a escydwn i fy mhen arnoch chwi?
5 [u] Mi a'ch cyssurwn chwi a'm genau: a sym-
mudiad fyng-wefusau a luddie [eich gofyd.] u Gal. 6, 1 2Cor. 1, 4
6 [v] Os llefaraf i, nid esmwythâ fy nolur: ac os v Mat. 11
peidiaf, nid llai fyng-ofid. 28
7 [w] Ond yn awr efe a'm blinodd i: anrheithia- Ioan 16 33
ist fy holl gynnulleidfa. w Preg. 7 9
8 [x] A chroen-grychu o honot fi oedd yn dest- Sal. 38 15
iolaeth: fyng-hulni a gododd yn fy erbyn, efe a 105, 18 x Diar. 17
a destiolaetha yn fy wyneb. 22
9 [y] Ei ddigllondeb ef [a'm] rhwygodd, ac efe
a'm gwrthwynebodd; efe a escyrnygodd ai dda- y Galar. 3
nnedd arnaf: fyng-wrthwynebwr a flaen-llym- 10
modd ei lygaid yn fy erbyn.
10 [z] Hwy a ledasant eu safnau yn fy erbyn, z Pen. 30
tarawsant fyng-hernau yn ddremygus: ymgas- 29
clasant ynghyd yn fy erbyn.
11 [a] Duw a'm creuodd gyda'r anwir: ac a'm
trodd i ddwylo 'r annuwiolion. a Ioan 19 11
12 [b] Yr oeddwn yn oludog, ond efe a'm cyst-
uddiodd, ac a ymaflodd yn fyng-wddf, ac a'm b Pen. 1, 4 3
drylliodd yn chwilfriw: ac a'm cododd fi yn
nôd iddo ei hun.
13 [c] Ei saethyddion ef sydd yn fy amgylchu, y c Lef. 26
mae efe yn hollti fy arennau, ac nid ydyw efe yn
arbed, y mae efe yn tywallt fy mustl ar y ddaiar.
14 [d] Y mae efe yn fy rhwygo a rhwygiad ar rw- d Sal. 4,
ygiad: y mae efe yn rhedeg yn fy erbyn fel cawr. 27
15 [e] Gwniais sachlen ar fyng-hroen: ac halog- a 2, 7 e Sal. 7, 5
ais fyng-hroen mewn pridd.
16 [f] Fy wyneb sy gan futtred a'r clai gan wylo: f Galar. 2
a chyscod marwolaeth [sydd] ar fy amrantau. 11
17 [g] Er nad [oes] gam yn fy nwylaw: a [bod] Sal. 4, 3 g Pen. 1, 1
fyng-weddi yn bûr. a 31, 13
18 [h] O ddaearen na orchguddia di fyng-waed:
ac na fydded lle i'm gwaedd. h Gen. 4 10
19 [i] Wele hefyd yn awr fy nhŷst yn y nefoedd:
a'm testiolaeth-wr yn yr uchelder. i Rhuf. 1 9
20 [j] Fyng-hyfeillion [ydynt] gymmen [i'm herb-
yn;] fy llygaid a ddiferodd [ddagrau] wrth Dduw. j Sal. 119 28
21 [k] [O na] chai gwr ymresymmu a Duw, fel k 1 Ioan 2 1, 2
mab dŷn ai gyfaill.
22 [l] Canys [fy] ychydig flynyddoedd a ddae- l Preg. 12 5

thant: ac mi a rodiaf lwybr [ar hyd yr hwn] ni
ddychwelaf.

## PEN. XVII.

*Iob yn amddeffyn ei ddiniweidrwydd. Iob yn ewyllysio cael barn gyfiawn am ei fuchedd. 5 Ac yn cwyno faint ei adfyd.*

FY chwythad a lygrwyd, fy nyddiau a
ddiffoddwyd, beddau [sy] barod i mi.
2 Onid gwatwar-wŷr [ydynt] gyd a'm fi? a'm
llygad sydd yn aros yn eu chwerwedd hwynt.
3 Caniadhâ atolwg gyd-fachnio a mi; pwy
[ydyw] efe [a] dery ei law yn fy llaw i?
4 Canys cuddiaist eu calon hwynt oddi wrth
ddeall; am hynny ni ddercheft di [hwynt.]
5 Yr hwn a ddywed weniaith iw gyfeillion,
llygaid ei feibion ef a ballant.
6 Yn ddiau efe a'm gosododd yn ddihareb
i'r bobl, fel y byddwn yn watwargerdd oi blaen
hwynt.
7 Am hyny y crychodd fy llygad gan ddig
llonedd; [y mae] fy aelodau oll fel cyscod.
8 Y rhai iniawn a synnant am hyn; a'r dini-
wed a ymgyfyd yn erbyn y rhagrithwŷr.
9 Yna y cyfiawn o ddeil ei ffordd; a'r glân ei
ddwylaw a chwanega gryfdwr.
10 Ond dychwelwch chwithau oll, a deuwch
attolwg; ac ni cha fi [ŵr] doeth yn eich plith
chwi.
11 Fy nyddiau aethant heibio, fy amcanion a
dyned ymmaith; [a] meddyliau fyng-halon.
12 Gosodant nos liw dydd, a'r goleuni cyfa-
gos yn dywyllwch.
13 Er a ddisgwiliaf, y bedd [fydd] tŷ i mi;
mewn tywyllwch y cyweiriaf fyng-wely.
14 Gelwais ar y pwll, Tydi [yw] fy-nhad; [ac]
ar y pryf, Fy mam a'm chwaer [wyt.]
15 A pha lê yn awr [y mae] fyng-obaith?
pwy hefyd a genfydd fyng-oglud?
16 [Fyng-obaith] a ddescyn gyd a mi i'r bedd;
cyd-orphywyswn yn y llwch.

## PEN. XVIII.

*Bildad yn beio ar Iob am dybied yn well o honaw ei hun nag ei gyfeillion 5 Ac yn mynegu trychineb yr annuwiol, gan feddwl mai y cyfryw un oedd Iob.*

A Bildad y Suhiad a attebodd, ac a ddy-
wedodd,
2 Pa [bryd] y derfydd eich ymadrodd? ys-
tyriwch, wedi hynny ninneu a lefarwn.
3 Pa ham y cyfrifed nyni fel anifeiliaid? [ac]
yr ydym aflan yn eich golwg chwi?
4 O yr hwn sydd yn rhwygo ei enaid yn ei
ddigllonedd, ai er dy fwyn di y gadewir y
ddaiar? neu y symmudir craig allan oi lle?
5 Goleuni'r annuwolion a ddiffoddir yn hyt-
rach: a gwreichionen ei dân ef ni lewyrcha.
6 Goleuni a dywylla yn ei luestŷ ef; ai lu-
sern a ddiffydd gyd ag ef.
7 Camrau ei gryfdwr ef a gyfyngir; ai gyng-
or ei hun ai bwrw ef i lawr.
8 Canys efe a ddanfonir i'r rhwyd erbyn ei
draed: ac ar faglau y rhodia efe.
9 Magl a ymeifl yn ei sodl [ef:] gwilliad fydd
trech nag ef.
10 Hoenyn a guddied iddo ef yn y ddaiar;
ai ddalfa ar y llwybr.
11 Braw sydd yn ei frawychu ef o amgylch;
ac yn peri iddo ef gymmeryd ei draed.
12 Ei gryfdwr ef fydd newynog; a thrueni
[fydd] parod wrth ei ystlys.
13 Efe a yssa ei gryfdwr ei hun; angeu a
fwyta ei gryfdwr ef.
14 Ei hyder ef a dynnir allan oi luesty; a
[hynny] ai harwain ef at frenin dychrynniadau.
15 [Arall] a drig yn ei luest ef, [canys] nid
yr eiddo ef [ydyw;] brwmstan a wascerir ar ei
drigfa ef.
16 Ei wraidd ef a sychant oddi tanodd, ai
frig ef a dorrir oddi arnodd.
17 Ei goffadwriaeth ef a gollir o'r ddaiar, ac
ni [bydd] enw iddo ef ar wyneb yr heol.
18 Efe a wthir allan o oleuni i dywyllwch;
efe a yrrir allan o'r byd.
19 Ni [bydd] iddo ef fab, nac ŵyr ym mysc
ei bobl; ac ni bydd [un] wedi adel yn fyw yn ei
drig-fannau ef.
20 Y rhai olaf a ryfeddasant o herwydd ei
ddydd ef; a'r rhai blaenaf a gawsant fraw.
21 Yn wir dymma drigleoedd yr anwir; ac
dymma le [y dyn] nid edwyn Dduw.

## PEN. XIX.

*Iob yn ymescusodi wrth ei gyfeillion. 7 Yn cwyno rhac maint digofaint Duw yn ei erbyn ef. 21 Yn annog ei gyfeillion i dosturio wrtho ef. 25 Ac yn cymmeryd mawr gysur o adgyfodiad y meirw.*

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd,
2 Pa hyd y cystuddiwch fy enaid? ac y
blinwch fi â geiriau?
3 Deng-waith i'm gwradwyddasoch, ac nid
cywilydd gennych ymgaledu o honoch i'm her-
byn.
4 Hefyd pe [bydde] wir bechu o honofi yn
amryfus; gyd a mi y trige fy amryfusedd.
5 Yn wir os ymfawrygwch yn fy erbyn, ac
[os] dannodwch fyng-wradwydd i mi,
6 Gwybyddwch yn awr mai Duw a'm
rhwystrodd i, ac a'm rhwydodd.
7 Os llefaf [rhac] trawster ni'm hattebir: [os]
gwaeddaf ni [chaf] farn.
8 Efe a gaeodd fy ffordd fel nad elwyf tros-
odd: wele y mae efe yn gosod tywyllwch ar fy
llwybrau.
9 Efe a ddioscodd fyng ogoniant oddi am
danaf: ac a ddygodd ymmaith goron fy mhen.

c Pen 13 15 a17,15 10 [c] Y mae efe yn fy nestrywio oddi amgylch
ac yr ydwyf yn myned ymmaith: ac efe a sym-
mudodd fyng-obaith fel [diwreiddio] pren.
d Heb.12 7 11 [d] Gwnaeth hefyd iw ddigofaint gynneu yn
fy erbyn: ac a'm cyfrifodd iddo ei hun fel [un
oi] elynnion.
e Sal. 34 19 12 [e] Ei dorfoedd ef a ddaethant yng-hyd: ac
a balmantasant eu ffyrdd yn fy erbyn: ac a wers-
yllasant o amgylch fy mhabell.
f Sal. 88, 18 13 [f] Efe a bellhaodd fy mrodyr oddi wrthif; y
rhai oeddynt yn fy adnabod hefyd a ymddieith-
riasant oddi wrthif.
g Mica 7 5 14 [g] Fyng-hyfnesaf a beidiasant [a mi,] a'r rhai
oedd o'm cydnabod a'm anghofiasant.
h Pen 31 13 15 [h] Y rhai oedd yn trigo yn fy nhŷ, a'm mor-
wynion sy'n fyng-hyfrif yn ddieithr: alltud yd-
wyf yn eu golwg hwy.
i Tit. 2, 9 10 16 [i] Gelwais ar fyng-wasanaeth-wr, ac nid
attebe efe, ac ymbiliais ag ef a'm genau.
j Pen17,1 17 [j] Dieithr oedd fy anadl i'm gwraig: er ym-
bil o honof [a hi] er mwyn fy mhlant cnawdol.
k 2 Bren 2, 23 18 [k] Plant hefyd a'm diystyrant; [pan] god-
wyf, dywedant i'm herbyn.
l Sal.41,8 19 [l] Fy holl gyfrinach-wŷr sy'n fy ffieiddio;
a'r rhai a gerais a droesant yn fy erbyn.
m Sal.102 6 20 [m] Fy esgyrn a lynodd wrth fyng-hroen, ac
wrth fyng-nhawd; â chroen fy nannedd yn unic
y diengais i.
n Heb.13 2 Col. 3,12 21 [n] Trugarhewch wrthif, trugarhewch wrthif
chwychwi fyng-hyfeillion; canys llaw Dduw a
gyffyrddodd a mi.
o Sal. 69 29 22 [o] Pa ham yr ydych chwi yn fy erlid i fel
Duw? heb gael digon ar fyng-nhawd?
23 Oh nad yscrifennid fyng-eiriau yn awr; O
na argrephid hwynt mewn llyfr.
24 Oh nad scrifennid hwynt mewn carreg
dros byth; a phin [e] aiarn, ac a phlwm.
*Rhuf. 8 37 25 *Ond myfi a wn fod fy mhryn-wr yn fyw, ac
Dan.12,1 Act. 3,20 y cyfodir o'r diwedd ar y ddaiar.
Luc 19 12 26 [q] Ac wedi gwisco fyng-hroen hwn y caf fi
q Phil. 3 21 weled Duw yn fyng-nhawd.
Mat. 22 30 27 [r] Yr hwn a gaf fi fy hun ei weled; a'm lly-
r 1 Cor.15 53 gaid ai gwelant [ef] ac nid arall; [wedi] i'm
Esa.26,19 arennau ddarfod ynof.
s Gal. 4, 29 28 [s] Eithr chwi a ddylech ddywedyd, Pa ham
Preg. 11 9 yr erlidiwn ef? canys gwreiddin gair a gaed
ynof.
29 Ofnwch am danoch rhac y cleddyf, canys
[y mae] digofaint yn erbyn anwireddau y cledd-
yf; fel y gwybyddech [fod] barn.

## PEN. XX.

*Zophar yn dangos trychineb yr annuwiol, megis pe buase ad-
fyd Iob am annuwioldeb.*

t Pen29,9 YNA [t] Zophar y Naamathiad a attebodd,
ac a ddywedodd,
u Gal. 4 18 2 [u] Am hynny y mae fy meddyliau yn peri i mi
atteb; ac am [hynny] y [mae] brys arnaf.
3 [v] Yr ydwyf yn clywed cerydd gwradwydd- v Pen. 19 29
us gennif; ond y mae yspryd fy neall yn peri i 2 Tim.4,3
mi atteb.
4 [w] A wyddost ti hyn er ioed? er pan osod- w Sal. 77 11
odd [Duw] ddyn ar y ddaiar?
5 [x] Mai gorfoledd yr annuwolion [sydd] dros x Dat.17, 7, 8
ychydig [amser:] a llawenydd y rhagrithwŷr Act. 12 22
dros funud awr. Dan.4,31
6 [y] Pe cyrhaedde ei odidawgrwydd ef i'r nef- y Esa. 14 13, 14
oedd: a phe chyffyrdde ei ben ef a'r wybren,
7 [z] Efe a gollir yn dragywydd fel ei dom: y z Sal. 37 36
rhai ai gwelant ef a ddywedent, Pa le y mae efe? a 83, 10
8 [a] Efe a eheda megis breuddwyd, fel na cheir a 2 Thes.4
ef; ac efe a ffŷ fel gweledigaeth y nos. 8
9 [b] Y llygad ai gwelodd ef ni chwanega [ei b Dat. 12
weled;] ai le ni chenfydd ef mwy. 8
10 [c] Ei feibion ef a fodlonant dlodion; ai c Hab. 2 10
ddwy-law ef a roddant adref ei olud ef.
11 [d] Ei escyrn ef sy'n llawn [o bechod] ei ieu- d Ezec. 24, 13
engtid; a hwnnw a orwedd gyd ag ef yn y pridd.
12 [e] Os bydd drygioni yn felus yn ei enau ef; e Diar.9, 17
efe a gela hwnnw dan ei dafod.
13 [f] Efe a arbed hwnnw, ac ni âd efe hwnnw; f Ier 11, 23
eithr efe a attal hwnnw o fewn taflod ei enau.
14 [g] Ei fwyd a dry yn ei emyscaroedd ef; bustl g Dat. 11
aspiaid [fydd] oi fewn ef.
15 [h] Efe a lyngcodd gyfoeth, ond efe ai chwyda; h Mat. 7 3, 4
Duw ai tynn allan oi fol ef. Diar. 26 8
16 [i] Efe a sugna wenwyn aspiaid; tafod gwib- i Diar. 23 32
er ai lladd ef. j Ier. 17,6
17 [j] Ni chaiff efe edrych ar ffrydau, afonydd, 2 Bren. 7 2
[ac] aberoedd o fêl, ac ymenin.
18 [k] Y mae efe yn rhoddi llafur adref heb ei k Dent 28,31
fwynhau; fel golud a gyfnewidie efe, ac heb Sal. 109, 11
gael llawenydd o honaw.
19 [l] Canys drylliodd, a gadawodd dlodion; l Iago 2,13
sclyfaethodd dŷ, ac nid adeiladodd efe hwnnw. Mat. 25, 35, 36
20 [m] Oblegit nid adnabu efe [ddim] heddych- m Luc 12 20
ol oi fewn; ni ddiangc efe ai ddymuniad [gan- Sal. 49,17
ddo.]
21 [n] Ni [bydd dim] gweddill oi fwyd ef; am n Luc 16 24
hynny ni ddisgwiliir am ei dda ef. Ier. 17,11
22 [o] Pan gyflawnir ei ddigonoldeb ef, cyfyng a 22, 19 o Dat. 18
[fydd] arno; llaw pob blinderoc a ddaw yn ei 7 Luc12,19
erbyn ef.
23 [p] [Pan] fyddo efe ar lenwi ei fol, Duw a p Num. 25, 4
ddenfyn yn ei erbyn ef angerdd ei ddigofaint; a 11,33
ac ai glawia [hi] arno ef ym mysc ei fwyd ef.
24 [q] Efe a ffŷ oddi wrth arfau o haiarn; bwa q Esa 24 18
o ddur ai trywana ef.
25 [r] Efe a dynn [gleddyf,] a [hwnnw] a ddaw r Deut.32 41
allan oi gorph ef, a gloiw-lafn allan oi fustl ef;
[felly] y daw dychryn arno ef.
26 [s] Pob tywyllwch [a fydd] guddiedic yn ei s Heb. 12 29
ddirgeloedd ef, tân heb ei chwythu ai hyssa ef;

yr hyn a weddillir yn ei luesty ef a ddrygir.
[t] Rhuf. 1, 18 27 [t] Y nefoedd a ddatcuddiant ei anwiredd ef:
a'r ddaiar a gyfyd yn ei erbyn ef.
[u] Esa. 26, 21 28 [u] Ffrwyth ei dŷ ef a symmud: hwy a redant
Dat. 18, 7 i ffordd yn nydd ai ddigofaint ef.
[v] Mat. 24, 51 29 [v] Dymma ran dŷn annuwiol gan Dduw: a'r
etifeddiaeth [yr hon a gaiff] efe gan Dduw am ei
ymadrodd.

## PEN. XXI.

*Iob yn atteb Zophar ai gyfeillion, gan ddangos y bydd gwynfyd yn fynych i'r annuwiol, ac adfyd i'r duwiol.*

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd,
[w] Iago 1, 19 2 [w] Gan wrando gwrandewch fy ymadrodd: a bydd hyn [yn] lle eich cyssur [i mi.]
[x] Heb. 13, 22 3 [x] Dioddefwch fi, a minne a lefaraf: ac wedi i
mi ddywedyd, gwatwar dithe.
[y] 2 Bren. 6, 26 4 [y] A ydwyfi [yn gwneuthur] fyng-hŵyn wrth
ddyn? ac os [ydwyf,] pa ham na bydd cyfyng
ar fy yspryd?
[z] Sal. 119, 120 5 [z] Edrychwch arnaf, a synnwch: a gosodwch [eich] llaw ar [eich] genau.
[a] Hab. 3, 16 6 [a] Eithr pan gofiwyf [fy hun,] yna y synna
arnaf: a dychryn a ymeifl yn fyng-nhawd.
[b] Ier. 12, 1 7 [b] Pa ham y mae'r annuwolion yn byw, yn
Hab. 1, 16 heneiddio, ac yn cryfhau [mewn] cyfoeth?
Dat. 13, 4 8 [c] Eu hâd hwy [sydd] safadwy oi blaen gyd
a 17, 2, 3, 4 â hwynt: ai hiliogaeth yn eu golwg hwynt.
[c] Esa. 14, 20
[d] Sal. 73, 5 9 [d] Eu tai hwynt [sy mewn] heddwch allan o
ofn: ac nid [ydyw] gwialen Duw arnynt hwy.
[e] Lef. 16, 11 10 [e] Y mae ei darw ef yn cyfloi, ac ni chyll ei
hâd: ei fuwch ef a fwrw lô yn rhwydd, ac nid
erthyla hi.
[f] Sal. 144, 13, 14 11 [f] Danfonant allan eu rhai bychain fel defaid: ai bechgyn a neidiant.
12 Cymmerant dympan a thelyn: a llawenychant wrth lais organ.
[g] Luc 12, 19, 19 13 [g] Treuliant eu dyddiau mewn daioni: ac yn
Mat. 24, 38 ebrwydd descynnant i'r bedd.
14 [h] Dywedant hefyd wrth Dduw, Cilia oddi
[h] Luc 19, 11 wrthym: canys ni fynnwn adnabod dy ffyrdd di.
[i] Ex. 5, 2 15 [i] Pa beth [ydyw] 'r Holl-alluog fel y gwas-
Mal. 3, 14 anaethem ef? a pha fudd [fydd] i ni pan wedd-
Seph. 1, 12 iom arno ef?
[j] Sal. 1, 1 16 [j] Wele nid [ydyw] eu ffynniant hwy yn eu
Gen. 49, 6 llaw eu hun: pell fyddo cyngor yr annuwolion
Diar. 1, 10 oddi wrthif fi.
[k] Luc 12, 46 17 [k] Pa sawl gwaith y diffydd canwyll yr annuwolion, ac y daw eu dinistr arnynt hwy? [ac]
y rhanna [Duw] ofidiau yn ei ddig?
[l] Seph. 2, 1, 2 18 [l] Byddant hwy fel gwellt o flaen gwynt:
Esa. 17, 13 ac fel mân-us yr hwn a gippia y corwynt.
[m] Dat. 18, 5 19 [m] Duw a guddia ei anwiredd i'w feibion:
[ac] efe a dâl iddo fel y gwypo.
[n] Dat. 14, 10 20 [n] Ei lygaid ef a welant ei ddinistr ei hun:
ac efe a ŷf o ddigofaint yr Holl-alluog.
[o] Sal. 55, 23 21 [o] Canys pa wynfyd sydd ganddo ef yn ei

dŷ ar ei ol, pan gwttogir rhifedi ei fisoedd ef.
22 [p] A ddysc dyn wybodaeth i Dduw? gan [p] Esa. 40, 13
ei fod yn barnu y rhai uchaf?
23 [q] Y naill sydd yn marw yn ei gyflawn ber- [q] Pen 20, 22
ffeithrwydd: ac efe ei gyd yn esmwyth, ac yn
heddychol.
24 [r] Ei gelyrnau ef sydd yn llawn llaeth: a [r] Sal. 17, 10
mer ei escyrn ef [ydynt] iraidd.
25 [s] A'r llall [sydd] yn marw mewn blinder: [s] Lef. 3, 15
ac ni fwytaodd mewn hyfrydwch.
26 [t] Hwynt a orweddant yng-hyd yn y pridd: [t] Preg. 9, 2
a'r pryfed a doant trostynt hwy.
27 [u] Wele mi a adwen eich meddyliau: a'r [u] Mat. 7, 16
bwriadau 'r ydych chwi yn eu dychymmygu ar
gam yn fy erbyn.
28 [v] Canys dywedwch, Pa le [y mae] tŷ y [v] Sal. 49, 11
pendefig? a pha le [y mae] lluesty anneddau 'r Pen 1, 18, 19
annuwolion?
29 [w] Oni ofynnasoch chwi i'r rhai oeddynt yn [w] Pen 20, 7, 8, 9
myned heibio rhyd y ffordd: ac oni chydnabyddwch chwi eu harwyddion hwy?
30 [x] Canys yn nydd trueni yr attelir y dryg- [x] 2 Pedr 2, 9
ionus: yn nydd cynddaredd y dygir hwynt allan. Pen 36, 6
31 [y] Pwy a fynega ei ffordd ef yn ei ŵydd ef; [y] Gal. 2, 11
pwy a dâl iddo ef fel y gwnaeth? Mat. 14, 4
32 [z] Yntef a ddygir i'r bedd, ac a erys mewn [z] Luc 16, 22
twrr [o bridd.]
33 [a] Y mae priddellau y dyffryn yn felus [a] Heb. 9, 27
ganddo ef, ac efe a dynn bob dŷn ar ei ôl: megis
[yr aeth] oi flaen [rai] aneirif.
34 [b] Pa fodd gan hynny y cyssurwch fi ag [b] Esa. 50, 11
oferedd: canys camwedd a adawed [yn] eich
attebion chwi?

## PEN. XXII.

*Eliphaz yn teuru mai am ei annuwioldeb y cospasid Iob. 6 Gan roddi yn ei erbyn ef fod yn anhrugarog i bob math ar ddyn, ai fod efe yn ammau rhaglunlaeth Duw, ai lywodraeth. 21 Yna y mae Eliphaz yn cynghori Iob i edifarhau.*

YNA Eliphaz y Themaniad a attebodd, ac
a ddywedodd,
2 [c] A wna gŵr lessâd i Dduw? iddo ei hun [c] Sal. 16, 2
yn hytrach y gwna y synhwyrol lessâd. Pen 35, 2
3 [d] Ai digrifwch [ydyw] i'r Hollalluog pan [d] 1 Sam. 15, 22
ymgyfiawnhaech? neu ai elw [ydyw] pan ber- Sal 31, 6
ffeithiech di dy ffyrdd? Ioan 4, 23
4 [e] Ai rhac dy ofn y cerydda efe dydi: [neu] [e] Sal. 39, 11
yr aiff efe gyd â thi i farn?
5 [f] Onid ydyw dy ddrygioni di yn ami? ac heb [f] Ioan 9, 2
ddiwedd ar dy anwireddau?
6 [g] Canys cymmerit ŵystl gan dy frodyr yn [g] Pen 31, 37
ddiachos: a dioscit ddillad y rhai noethion.
7 [h] Ni roddit ddwfr iw yfed i'r lluddiedic: a [h] Diar. 25, 21
thi a attelit fara oddi wrth y newynoc. Iago 2, 15
8 [i] Y ddaiar hefyd oedd eiddo y gŵr cadarn: [i] Sal. 12, 8
yr anrhydeddus a drige ynddi.
9 [j] Danfonit ymaith wragedd gweddwon yn wag- [j] Pen 31, 21
law: a breichiau y rhai ymddifaid a ddryllit ti. 1 Cor. 13, 5, 6

k 1 Sam. 28, 20 — 10 [k] Am hynny [y mae] maglau o'th amgylch: ac y mae ofn yn dy ddychrynu di yn ddisymwth:

l Sal 32, 6 — 11 [l] Neu dywyllwch rhac gweled o honot: a llawer o ddyfroedd a'th orchguddiant.

m Sal. 115, 3 — 12 [m] Onid [ydyw] Duw yn uchelder y nefoedd? gwel hefyd benn y sêr mor uchel ydynt hwy.

n Zec. 1, 12 — 13 [n] A ddywedi di gan hynny, pa fodd y gŵyr Duw? a farn efe drwy dywyllwch?

o Sal. 139, 12 — 14 [o] Y cwmylau [ydynt] loches iddo ef, ac ni wêl: ac y mae efe yn rhodio [ar] gylch y nefoedd.

p 1 Cor. 10, 6; 2 Pedr 2, 6 — 15 [p] A ystyriaist ti lwybr y byd, yr hwn a sathrodd ofer-wŷr [arno?]

q Mat. 24, 38 — 16 [q] Y rhai a dorrwyd pan nid [oedd] eu hamserhwynt: afon a dywalltwyd ar eu sylfaen hwy.

r Sal. 4, 6; Ier. 44, 16 — 17 [r] Hwynt a ddywedasant wrth Dduw, Cilia oddi wrthym: a pha beth a wnaeth yr Hollalluog iddynt hwy?

s Sal. 17, 14 — 18 [s] Ac efe a lanwase eu tai hwy o ddaioni: am hynny pell [fyddo] cyngor yr annuwolion oddi wrthifi.

t Dat. 19, 1; Sal. 58, 10 — 19 [t] Y rhai cyfiawn a welant, ac a lawenychant: a'r diniwed ai gwatwar hwynt.

u 2 Pedr 3, 7; Act. 17, 31 — 20 [u] Gan na thorred ymmaith ein sylwedd ni, ac yssu o'r tân eu gweddill hwy.

v 1 Tim. 4, 8; Mat. 6, 38 — 21 [v] Ymarfer attolwg ag ef, a bydd heddychlon, o hyn y daw i ti ddaioni.

w Sal 119, 11; Diar. 4, 21 — 22 [w] Cymmer y gyfraith attolwg oi enau ef, a gosot ei eiriau ef yn dy galon.

x Sal. 28, 5 — 23 [x] Os dychweli at yr Holl-alluog ti a adeiledir, os symmudi anwiredd ym mhell oddiwrth dy luestai.

y 2 Cron. 1, 15 — 24 [y] Gosodi [aur] mor aml a'r pridd, ac [aur] Ophir fel callestr yr afonydd.

z Diar. 1, 4 — 25 [z] A'r Holl-alluog fydd yn amddeffyn i ti, a thi a gei amldra o arian.

a Can. 2, 3; 1 Ioan 3, 21 — 26 [a] Os yna'r ymhoffi yn yr Holl-alluog, tithe a dderchefi dy wyneb at Dduw.

b Esa. 58, 9 — 27 [b] Ti a weddii arno ef, ac efe a'th wrendu di, tithe a deli dy addunedau.

c Sal. 1, 3 — 28 [c] Pan ragluniech di beth, efe a sicrhâ [hynny] i ti, a goleuni a lewyrcha ar dy ffyrdd.

d Iago 4, 6 — 29 [d] Pan ostynger hwynt yna y dywedi, [Caf] oruchafiaeth, canys efe a achub y gostyngedic [ei] olwg.

e Preg. 9, 14; 1 Tim. 2, 8 — 30 [e] Y diniwed a wareda yr ynys, a thrwy lendid dy ddwylaw di y gwaredir hi.

## PEN. XXIII.

*Iob yn atteb ei fod yn ewyllyscar i gymmeryd barn Duw, gan ddangos nad am annuwioldeb y daethe'r adfyd hwnnw iddo ef.*

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd,

f Neh. 12, 12; Pen 6, 3 — 2 [f] Er bod fy ymadrodd heddyw yn chwerw, [a] bod fy nialedd yn drymmach na'm uchenaid,

g Can 3, 1, 2 — 3 [g] Oh nas adwaenwn, ac [nas] cawn ef: fel y deuwn at ei eisteddfa ef.

4 [h] Dadleuwn ger ei fron ef: a llawnwn fyngenau a rhesymmau. — h Sal. 5, 3; Luc 6, 45

5 [i] Mynnwn wybod [a pha] eiriau i'm hattebe, a mynnwn ddeall pa beth a ddywede efe wrthif. — i Sal. 51, 4

6 [j] A ymrysone efe â mi ag helaethrwydd [ei] gadernid? na [wnai,] ond efe a osode [nerth] ynof. — j Esa. 57, 16; Mal. 3, 17

7 [k] Yno'r iniawn a ymrysymme ag ef, ac mi a ddiangwn byth gan fy marn-wr. — k Heb. 9, 24; a 10, 22

8 [l] Wele [os] ym mlaen yr âf nid ydyw efe [yno: os] yn ôl hefyd, nid ydwyf yn ei ganfod ef. — Pen 23, 5, 7; l Act. 17, 27

9 [m] [Os] ar y llaw asswy lle y mae efe yn gweithio ni chanfyddaf [ef:] os ar y llaw ddehau, y mae efe yn ymguddio, fel na chaf [ei] weled. — l Tim. 6, 16; m Sal. 44, 24

10 [n] Ond efe a edwyn fy ffordd, y mae efe yn fy mhrofi, myfi a âf allan fel aur. — n Sal. 66, 10

11 [o] Fy nhroed a ddilyn ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni wŷrais. — o Dat. 3, 10; 2 Tim. 4, 10

12 [p] Nid ydwyf ychwaith yn cilio oddi wrth orchymyn ei wefusau ef: hoffais eiriau ei enau ef yn fwy na'm harferol [ymborth.] — p Sal. 119, 72; Ioan 4, 32

13 [q] Y mae efe hefyd yn un [air,] a phwy ai trŷ ef? y mae ei enaid ef yn chwennychu, ac efe a gyflawna. — q Rhuf. 9, 19

14 [r] Canys efe a gyflawna yr hyn a orchymynnodd efe am danafi: ac [y mae] ganddo ef lawer o'r fath bethau a hyn. — r 1 Thes. 3, 3

15 [s] Am hynny y dychrynais rhag ei ofn ef: ystyriais, ac ofnais rhagddo ef. — s Hab. 3, 16

16 [t] Canys Duw a feddalhaodd fyng-halon: a'r Holl-alluog a'm dychrynodd. — t Esa. 57, 16

17 [u] O herwydd na thorrwyd fi ymaith o flaen tywyllwch: ac [na] chuddiodd efe niwl o'm gŵydd. — u Esa. 57, 1

## PEN. XXIV.

*Iob yn dangos na wyr y rhai duwiolaf mo ddirgelwch barnedigaethau Duw, onid ei fod efe pan fynno, ar modd a fynno yn cospi y drygionus: a hynny o'r diwedd yn ddigon dwys.*

PA [v] ham na chuddid yr amseroedd gan yr Hollalluog? fel nas rhac-wele y rhai ydynt yn ei adnabod ei ddyddiau ef? — v Gen. 6, 16; Sal. 31, 15

2 [w] Y mae [rhai] yn symmudo terfynau: yn sclyfaethu defaid, ac yn ymborthi [arnynt.] — w Deut. 19, 14; Diar. 22, 28

3 [x] Y maent yn gyrru assynnod yr amddifad ymaith: maent hwy yn cymmeryd ŷch y wraig weddw ar wystl. — Hos. 5, 10; x 1 Sam. 12, 3

4 [y] Maent hwy yn gwneuthur i'r anghenog droi allan o'r ffordd: [am hynny] tlodion y ddaiar a gyd-lechasant [rhagddynt.] — y Diar. 30, 14

5 [z] Wele y maent [fel] assynnod gwylltion yn yr anialwch, yn myned allan iw gwaith gan geisio sclyfaeth yn foreu: y diffaethwch [sydd yn dwyn] iddynt fwyd, [ac] iw plant. — z Diar. 4, 16

6 [a] Medant y maes yr hwn nid yw eiddynt: a gwin-llan yr annuwiol a gasclant hwy yn ddiweddar. — a Iago 5, 4

7 [b] Gwnant [i'r] tlawd letteu yn noeth heb ddillad: ac heb wisc mewn oerni. — b Deut. 24, 12, 13

e Heb. 11 38 8 [e] Gwlychant gan lifeiriant mynyddoedd: ac
o eisieu diddosrwydd cofleidiant graig.
d 1 Tim. 6 10 Hos. 10, 14 9 [d] Tynnant yr ymddifad oddiwrth y fron:
cymmerant wystl gan y tlawd.
e Deu. 27 4 10 [e] Gwnaethant [iddo ef] fyned yn noeth heb
ddillad: a dygasant ddyrneidiau [lloffa] y rhai
newynog.
f Ier. 22, 13 11 [f] Y rhai sy yn gwneuthur olew rhwng eu
parwydydd: [ac] sy yn sathru y cafnau gwin
ydynt yn sychedic.
g Sal. 50 21 Mal. 2, 17 Preg. 8 11 12 [g] Y mae gwŷr yn griddfan o'r dref: ac y
mae eneidiau y rhai lladdedic yn gweiddi, ac ni
esid Duw ddial.
h Ioan 3 20 13 [h] Y rhai hynny sy ym mhlith y rhai ydynt
yn gwrthwynebu goleuni, nid ydynt hwy yn
adnabod ei ffyrdd ef: nid ydynt yn aros yn ei
lwybrau ef.
i Eph. 5, 16 14 [i] Gyd a'r goleuad y cyfyd y lleiddiad, ac y
lladd efe y tlawd, a'r anghenog: a'r nôs y bydd
efe fel lleidr.
j Mat. 5 27 15 [j] A llygad y godineb-wr sydd yn gwilied y
cyfnos gan ddywedyd, Ni chaiff llygad fyng-
weled, ac efe a esyd hûg ar ei wyneb.
k Ier. 8, 7 16 [k] Y maent hwy yn cloddio trwy dai mewn
tywyll wch, [y rhai] a nodasent iddynt eu hunain
liw dydd, nid adwaenent hwy oleuni.
l Gen. 38 18 17 [l] Canys cysgod marwolaeth [ydyw] y borau
iddynt hwy eu gyd, dychryn cyscod marwolaeth
[yw] os gwybydd [neb.]
m 1 Bren 11, 1 18 [m] Yscafn ydyw ['r annwiol] ar wyneb y
dyfroedd, melltigedic ydyw eu rhan-dir hwy
ar y ddaiar, ni thrŷ efe ei wyneb [at] ffordd y
gwin-wŷdd.
Sal. 49 1 19 [n] Fel mae sychdwr, a gwres yn cippio dyfr-
oedd eira, [felly y cippia] y bedd [y rhai] a
bechasant.
Diar. 10 20 [o] Y tostariol ai gollwng ef dros gof, melus
Sal. 37, 36 gan y pryf ef, ni chofir ef mwy, felly y dryllir
Sal. 104, 35 anwiredd fel pren.
1 Sam. 5 21 [p] Y mae efe yn dryllio yr amhlantadwy
Barnwyr 13 [yr hon] ni phlanta, ac nid ydyw efe yn gwneuth-
ur daioni i'r wraig weddw.
Ester 3 22 [q] Ac y mae efe yn tynnu rhai cedyrn with
Sal. 16, ei nerth, [pan] gododd efe nid oedd [neb] ddiogel
Sal. 17, 2, 3 oi einioes.
Sal. 11, 4 23 [r] Er rhoddi iddo fod mewn diofalwch, etto
Hab. 1, 12 [y mae] ei lygaid ef ar eu ffyrdd hwy.
Sal. 37, 2 24 [s] Hwynt-hwy a dderchafwyd ychydig, ac a
39, 5 ddarfuant hefyd, hwynt a ostyngwyd, ac a es-
Luc 2, 10 cydwyd i lawr fel pawb [eraill,] ac a dorrwyd
Luc 20, 23 ymmaith fel pen twysen.
1 Cor. 1 25 [t] Ac onid [ydyw hyn] yn awr, pwy a'm
gwnaiff i yn gelwyddoc? ac a esyd fy ymadrodd
yn ddiddym?

## PEN. XXV.

*Bildad yn dangos na ddichon Iob, na neb arall ymgystadlu a mawredd, ac a phurdeb Duw.*

Yna Bildad y Suhiad a attebodd, ac a
ddywedodd,
2 [u] Arglwyddiaeth, ac ofn [sydd] ganddo ef, y u Mat. 18
mae efe yn gwneuthur heddwch yn ei uchelder. 18 Dat. 6, 16
3 [v] A oes gyfrif oi dorfoedd ef? ac ar bwy ni Col. 1, 20
chyfyd ei oleuni? v Gen. 2, 1 Iago 1, 17
4 [w] Pa fodd y cyfiawnheuir dŷn [os cystedlir ef] w Rhuf. 3
a Duw? a pha fodd y bydd yr hwn a aned o 25
wraig yn bur?
5 [x] Wele hyd yn oed y lleuad, ac ni lewyrcha x Rhuf. 8
hi, a'r sêr nid ydynt bur yn ei olwg ef: 20
6 [y] Pa faint llai dŷn [yr hwn sydd] bryf, a mab y Sal. 22, 6
dŷn [yr hwn sydd] abwydyn?

## PEN. XXVI.

*Iob yn dangos ei fod ef yn cydnabod gallu Duw yn gystal a Bildad, neu arall, gan ddwyn llawer o resymmau i brofi hynny.*

Ac [z] Iob a attebodd, ac a ddywedodd, z Diar. 16
2 Pwy a gynorthwyaist ti? ai yr dinerth? 11 Preg. 13
a achubaist ti y braich [sydd] heb gadernid? 10, 11
3 [a] Pa fodd y cynghoraist ti yr annoeth? ac y a Pen 11
mynegaist reswm yn aml? 2, 3 Act. 20, 30
4 [b] Wrth bwy y mynegaist yr ymadroddion? 2 Tim. 3
ac enaid pwy a ddaeth allan o honot ti? 15 b Pen 12
5 [Pethau] wedi meirw a lunnir oddi tann y 3, 4 Ezec. 13
dyfroedd, a'r rhai sydd yn trigo ynddynt hwy. 19
6 [c] Y mae uffern yn noeth ger ei fron ef, ac c Diar. 15
nid oes dô ar ddestruw. 11 d Sal. 24, 2
7 [d] Y mae efe yn taenu y gogledd ar wag-le, y
mae efe yn crogi y ddaiar ar ddiddim.
8 [e] Y mae efe yn rhwymo dyfroedd yn ei e Diar. 30 4
gwmylau, ac nid ydyw'r cwmwl yn hollti tanynt
hwy.
9 [f] Y mae efe yn attal wyneb [ei] orseddfaingc: f Esa. 66, 1
y mae efe yn taenu ei gwmwl arni hi. Sal. 104, 5
10 [g] Efe a amgylchynodd derfyn gosodedic g Pen 38
ar wyneb y dyfroedd, hyd orpheniad goleuni a 8 Dat. 21, 1
thywyllwch.
11 [h] Y mae colofnau y nefoedd yn escwyd, ac h 2 Pedr 3
yn crynu rhac ei gerydd ef. 10
12 [i] Efe a ostegodd y mor ai nerth; ac a dar-
awodd [ei] falchter ai ddoethineb. i Ier. 9, 23
13 [j] Efe a addurnodd y nefoedd ai yspryd, ei j Esa. 27, 1
law ef a luniodd y sarph dorchoc.
14 [k] Wele dymma rannau ei ffyrdd ef, ac morr k Ioan 16
fychan [ydyw'r] peth yr ydym ni yn ei glywed 12 2 Cor. 4, 7
am dano ef? ond pwy a ddeall daranau ei gad-
ernid ef?

## PEN. XXVII.

*Perffeithrwydd Iob. 7. Diwedd ei wrthwynebwyr ef. 12 A dialedd y rhai annuwiol oll.*

Ac [l] Iob a barablodd eil-waith, ac a ddy- l Diar. 4
wedodd, 18
2 [m] Y mae Duw yn fyw [yr hwn] a symmud- m Sal. 9, 4
odd fy marn; a'r Holl-alluog [yr hwn] a ofid- Esa. 57, 0
iodd fy enaid.

n Act 17 25 3 ⁿ Etto tra [fyddo] fy enaid ynof, ac yspryd
Duw yn fy ffroenau.
o Seph 3 13 4 ° Ni ddywed fyng-wefusau anwiredd, ac ni
thraetha fy nhafod dwyll.
p Gal. 2 11 5 ᵖ Na ato Duw i mi eich cyfiawnhau chwi,
2Cor 1,12 oni threngwyf ni symmudaf fy mherffeithrwydd
oddi wrthif.
q Pen 2.3 Act 24,16 6 ᑫ Yn fyng-hyfiawnder yr ymeflais, ac nis
gollyngaf hi, ni wradwydda fyng-halon [fi] byth.
r 2Sam 18 32 7 ʳ Bydd fyng-elyn fel yr annuwiol, a'r hwn
sydd yn codi yn fy erbyn fel yr anwir.
s Luc 12 20 8 ˢ Canys pa obaith [sydd] i'r rhagrithiwr er
elwa o honaw ef, pan dynno Duw ei enaid ef
allan?
t Diar 1 28 9 ᵗ A wrendu Duw ei lef ef, pan ddêlo cyfyng-
der arno ef?
u Sal 78 34 10 ᵘ A ymlawenycha efe yn yr Arglwydd? a
eilw efe Dduw bob amser?
v Luc 22, 32 11 ᵛ Myfi a'ch dyscaf chwi am allu Duw, ni
chelaf yr hyn sydd gan yr Holl-alluog.
w Sal 4, 2 12 ʷ Wele chwychwi, chwychwi oll a welsoch,
a pha ham yr ydych chwi felly yn ofera [mewn]
oferedd?
x Dat 6,17 13 ˣ Dymma rann dŷn annuwiol gyd a Duw,
ac etifeddiaeth y rhai traws [yr hon] a gafant
hwy gan yr Holl-alluog.
y Ester 9 10 14 ʸ Os ei feibion ef a amlheuir [hwynt hwy a
amlheuir] i'r cleddyf, ai hiliogaeth ef ni ddigonir
â bara.
z Diar 10 7 15 ᶻ Ei weddillion ef a gleddir ym marwolaeth:
Sal 78,64 ai wragedd gweddwon ni ŵylant.
a Luc 12 18, 19 16 ᵃ Os pentyrra efe arian fel pridd: ac os pa-
ratoa efe ddillad fel clai,
Hab 2, 6 b Diar 28 8 17 ᵇ Efe a baratoa, ond y cyfiawn a wisc: a'r
arian, y cyfiawn [ai] cyfranna.
c Mat 7 27 18 ᶜ Efe a adailadodd ei dŷ fel gwyfyn, ac fel
bŵth [yr hwn] a wnai y gwili-ŵr.
d 2 Bren 22 20 19 ᵈ Y cyfoethog a huna, ac nis cleddir, [un]
Sal 37,36 a egyr ei lygaid, ac ni [bydd] efe.
e Ex 12,29 20 ᵉ Dychrynniadau ai goddiweddant ef fel
dyfroedd: corwynt ai cippia ef liw nos.
f Dan 4,31 21 ᶠ Y dwyrein-wynt ai cymmer ef i ffordd, ac
efe a aiff ymmaith: ac ai teifl ef fel corwynt
allan oi le.
g Amos 2, 14 22 ᵍ Ië [Duw] a deifl arno ef, ac nid arbed:
Barn 4.17 gan ffoi efe a ffŷ rhag ei law ef.
Ex 14,25 h Dat. 18 23 ʰ [Pob dyn] a gur ei ddwylaw arno ef: ac
20 a 19,1, 2, 3 a chwibana arno ef allan oi le.

## PEN. XXVIII.

*Job yn dangos mor anfeidrol yw doethineb Duw, ac anhawsed ei holrhein hi allan.*

i Diar 23 4 DIAU ⁱ fod gwythien i'r arian: a lle i'r aur
Mat. 6.33 [yr hwn] a doddant hwy.
j Ex 36,1 2 ʲ Haiarn a dynnir allan o'r pridd: ac [allan]
o'r garreg y toddir pres.

3 ᵏ [Duw] sydd yn gosod terfyn ar dywyllwch, k Esa. 29 15
ac yn chwilio allan bob perffeithrwydd: [hyd 1Cor 4,5
yn oed] y meini [a guddiwyd mewn] tywyllwch, Preg 1,13 1 Bren 4 33
a chyscod angeu.
4 Y mae yr afonydd yn torri allan yn erbyn y
trigolion, [a'r dyfroedd] dyfnion uwch na dyn a
giliasant.
5 ˡ Y ddaiaren o'r hon y daw bara allan, y l Esa 28 28
troiwyd megis tân tani.
6 ᵐ Ei cherrig hi [a fyddant] le i saphir: ai m Ex 24 10
phriddellau yn aur.
7 ⁿ Llwybr [yw hwn] nid adnabu aderyn ef: n Pen 28 25
ac ni chanfu llygad barcud ef. Mat 10,19
8 ° Yr hwn ni sathrodd cenawon llew: nid aeth o Diar 10 14
hen lew trosto ef. Diar 24 4
9 Y mae efe yn estyn ei law at y gallestr: y mae Phil. 1,9
efe yn dymchwelyd mynyddoedd o'r gwraidd. 10 a 14,23
10 Y mae efe yn peri afonydd dorri allan o'r
creigiau: ac y mae ei lygad ef yn gweled pob
peth gwerthfawr.
11 ᵖ Y mae efe yn rhwymo yr afonydd rhag p Diar 18 1
llifo: ac y mae efe yn dwyn dirgelwch allan i'r Sal 119,18
goleuni.
12 ᑫ O ba le gan hynny y ceir doethineb? a q Rhuf 11, 33
pha le y mae trigle deall? 1Cor 2,14
13 ʳ Ni ŵyr dyn beth a dal hi: ac ni cheir hi Iago 1, 5 17
yn nhir y rhai byw. 1 Bren 3 9
14 ˢ Y mae'r dyfnder yn dywedyd, Nid [ydyw] r Ioan 11 15
hi ynofi; ac y mae'r môr yn dywedyd, Nid [yd- Sal 25, 9
yw hi] gyd a myfi. s Rhuf 11 33
15 ᵗ Ni cheir hi er aur pur; ac ni ellir pwyso t Diar 4
ei gwerth hi o arian. 13 a 8, 11
16 ᵘ Ni chyffelybir hi i'r aur o Ophir; nac i'r u Ex 28, 20
onix gwerthfawr, nac i'r saphyr.
17 ᵛ Nid aur nac adamant ai cystadla hi; na v Diar 25 11
llestr o aur dilin [fydd] gydwerth iddi.
18 ʷ Ni chofir y cwrel, na'r gabis, canys [gwell w Mat 13 44
yw] caffaeliad doethineb na gemmau.
19 Ni ellir cyffelybu y topaz o Ethiopia iddi
hi; ni chyd-brissir hi ag aur pur.
20 Gan hynny o ba le y daw doethineb? a pha
le y mae mangre deall.
21 ˣ Canys hi a guddied oddiwrth lygaid pob x Mat 13
dŷn byw; a hi a guddiwyd oddiwrth ehediaid 44
y nefoedd.
22 Colledigaeth a marwolaeth sydd yn dywed-
yd, Ni a glywsom a'n clustiau son am dani hi.
23 ʸ Duw [yn unic] sydd yn deall ei ffordd hi;
ac efe a edwyn ei lle hi. y Mat 11 27
24 ᶻ Canys y mae efe yn edrych ar eithafoedd y z Heb 4
ddaiar; y mae efe yn gweled dan yr holl nefoedd. 13 Diar 15,3
25 ᵃ Wrth wneuthur pwys i'r gwynt; pan bw- a Amos 4 13
ysodd efe y dyfroedd mewn messur. b Amos 4
26 ᵇ Pan wnaeth efe derfyn i'r glaw: a ffordd i 7 Ier 5, 24
fellt y taranau. c Rhuf. 1
27 ᶜ Yna efe ai gwelodd hi, ac ai mynegodd hi; 20 Sal. 19, 1

efe ai parottodd hi, a hefyd efe ai chwiliodd hi
allan.
d Deut. 28 [d] Ac wrth ddyn efe a ddywedodd, Wele
29,29 ofn Duw sydd ddoethineb; a chilio oddi wrth
Sal. 11.10 Diar. 1,7 ddrwg sydd ddeall.

## PEN. XXIX.

*Iob yn hiraethu am y gwynfyd gynt. 12 Yn datcan ei fuchedd. 21 Ac yn mynegu ei barch.*

e 1 Pedr 1 6 YNA [e] Iob a barablodd trachefn, ac a ddywedodd,
f Heb. 13 2 [f] Oh na bawn i fel yn y misoedd o'r blaen; fel
5 yn y dyddiau pan gadwe Duw fyfi.
g Sal. 23 3 [g] Pan wnae efe iw oleuni lewyrchu uwch fy
4 mhen; wrth oleuni yr hwn y rhodiwn drwy dywyllwch.
h Sal. 25 4 [h] Pan oeddwn yn nyddiau fy ieuengtid, ac
14 ymgeledd Duw ar fy mhabell.
i Barn. 6 5 [i] Pan [oedd] yr Holl-alluog etto gyd a mi;
12 a'm llangciau o'm hamgylch.
j Gen. 49 6 [j] Pan olchid fy nhraed ag ymenyn; a [phan]
11 Deut. 32 dywallde y graig arnafi afonydd o olew.
13 7 [k] Pan awn i allan trwy'r porth trwy'r dref;
k Deut. 16,6 parwn baratoi fy eisteddfa yn yr heol.
8 [l] Llangciau a'm gwelent, ac a ymguddient; a
l Marc 6 20 henuriaid a gyfodent, ac a safent.
9 [m] Tywysogion a attalient eu ymadroddion;
m Iago 1 19 ac a osodent [eu] llaw ar eu genau.
Barn. 18 19 10 Pendefigion cymmen a ymguddient; ai
tafod hwy a lyne wrth daflod eu genau.
n Diar. 29 11 [n] Canys y glust [a'm] clywe a'm bendithie:
7 Marc 7 a'r llygaid [a'm] gwele a destiolaethe o honof.
o Sam. 18, 12 [o] Canys gwaredwn y tlawd yr hwn a fy-
7 Sal. 72 dde yn gweiddi: a'r ymddifad, a'r [hwn] ni
[bydde] gynnorthwy-wr iddo.
p 1 Tim. 1 13 [p] Bendith y colledig a ddeue arnaf: a
5 Diar. 31 gwnawn i galon y wraig weddw lawenychu.
14 [q] Gwiscwn gyfiawnder, a hithe a wisce am
Sal. 132 danafi: a'm barn [fydde] fel mantell, a choron.
Num 10 15 [r] Llygaid oeddynt i'r dall: a thraed oedd-
Iica 4,6 wn i'r cloff,
Diar. 25 16 [s] Tâd oeddwn i'r rhai anghenog: a'r cŵyn
[yr hwn] nid adwaenwn, a chwiliwn i allan.
Sal. 58,6 17 [t] Drylliwn hefyd gilddanedd yr anghyf-
Sam. 17 iawn: a gwnawn iddo ef fwrw'r sclyfaeth allan
oi ddannedd.
Sal. 30, 18 [u] Am hynny y dywedwn, Byddaf farw yn
Sam. 25,8 fy nŷth: a byddaf morr aml [fy] nyddiau a'r
tywod.
Ier. 17,7 19 [v] Fyng-wreiddin [oedd] yn agored i'r dyf-
roedd: a'r gwlith a arhosodd yn fy mrig.
2 Sam. 20 [w] Fyng-ogoniant oedd îr gyd a mi: a'm bwâ
9 Esa. 40,31 a adnewydde yn fy llaw.
Diar. 8 21 [x] Hwynt a wrandawent arnaf, ac a ddis-
6 21, 14 gwilient: distawent am fyng-hyngor.
Act. 17 22 [y] Ar ol fy ymadrodd ni ddywedent hwy
ailwaith: canys fy ymadrodd a ddifere arnynt
hwy.
23 [z] A hwy a'm disgwylient i fel glaw: ac a z Sal. 72,6
agorent eu genau fel [am] y diweddar-law.
24 [a] Chwarddwn arnynt hwy, [ond] ni chre- a Diar. 29
dent: ac ni wnaent hwy i lewyrch fy wyneb 9 Luc 24,4
syrthio.
25 Dewiswn eu ffordd hwynt, eisteddwn yn
bennaf, a thrigwn fel brenin mewn llu: megis
yr hwn a gyssuro rai galarus.

## PEN. XXX.

*Iob yn mynegu yr adfyd yr ydoedd efe ynddo. 17 Gan gydnabod nad allase hynny ddyfod iddo ef heb fod Duw yn caniadhau. 25 Ac yn cwyno er ei fod efe yn dosturiol wrth eraill yn eu hadfyd, nad oedd dim tosturiaeth wrtho ef.*

ONID [b] yn awr y rhai sy ieuangach na mi b 2 Bren.
o oedran sy yn fyng-watwar, y rhai y 2, 23
gwrthodaswn eu tadau, iw gosod gyd a chŵn
fy nefaid.
2 [c] I ba beth [y gwasanaethase] cryfdwr eu c Tit. 1,13
dwylaw hwynt i mi? darfuase am henaint yn-
ddynt hwy.
3 [d] Y rhai o fioesant rhac angeu, a newyn i d Diar. 28
anialwch sych: i dywyllwch, diffaethwch, a 21 Seph. 1
gwylltineb. 15
4 [e] Y rhai a dorent ddanadl mewn brysclwyni: Esa. 15, 20, 21
a gwraidd meryw [oedd] eu bwyd hwynt. e Amos 7 14
5 [f] Hwy a yrrid ymmaith o ganol [y ddinas: Deut. 28
pobl] a waeddent yn eu herbyn hwy fel [yn 48 f Gen. 21 10
erbyn] lleidr. 1 Cor. 5,
6 I drigo mewn holltau afonydd: [mewn] tyll- 13
au pridd, a chreigiau [y gyrrid hwynt.]
7 [g] Hwynt a ruent ym mhlith perthi: hwynt g Iago 4,8
a ymgasclant dann ddanadl.
8 Meibion yr ynfyd, a meibion heb henw [yd-
ynt hwy,] gwaelach ydynt hwy na'r ddaiar.
9 [h] Ac yn awr eu-cân hwy ydwyfi: ac myfi
ydwyf yn destyn iddynt. h Sal. 35 15 a 69,13
10 [i] Y maent hwy yn fy ffieiddio, yn cilio ym
mhell oddi wrthif: ac yn poeri yn fy wyneb. i Diar. 23 5
11 [j] Canys efe a ddatododd fy rhaff, ac a'm Mat. 26 67
cystuddiodd: a hwy a ollyngasant y ffrwyn y j Sal. 39,9
fyngolwg i.
12 [k] Bechgyn sy yn codi ar fy llaw ddeheu, y k Zec. 3,1
maent hwy yn gwthio fy nrhaed: ac maent
hwy yn palmantu arnaf eu llwybrau dinistriol.
13 [l] Hwy a anrhaithiasant fy llwybr, chwal- l Act. 13
egasant fy nhrueni: heb fôd iddynt hwy help. 10 Zec. 1,15
14 [m] Y maent hwy yn dyfod [arnaf] megis Deut. 32 36
[dwfr trwy] adwy lydan; maent hwy yn ym- m Sal. 80
dreiglo tann anrhaith. 12, 13
15 [n] Braw a droiwyd yn fy erbyn i, fel gwynt n Ier. 17,
yr erlidir fy [enaid] bonheddig: a'm iechydwr- 17
iaeth a aiff heibio fel cwmwl.
16 [o] Am hynny'r ymdywallt fy enaid yn awr o 1 Sam. 1
ynof: [ac] y deil dyddiau cystudd fi. 15

pGalar.3 18 17 p Y nos y tyllir fy escyrn o'm mewn: a'm
Diar. 4, 16 giau nid ydynt yn gorphywys.
qSal. 39 11 18 q Yn amldra cyrfdwr [fyng-hlefyd] fyngwisc
sydd yn ymnewidio: [yr hwn] a'm hamgylcha
fel coler fy mhais.
rSal.40.2 a 89, 30 19 r Efe a'm taflodd yn y clai: fel y gallaf
fyng-hyffelybu i bridd a lludw.
sIer.15,1 Mat. 15, 22 20 s Yr ydwyf yn llefain arnat ti, ac nid ydwyt
yn gwrando: sefais [ger dy fron,] ac [nid] ystyr-
iaist wrthif.
tSal.77,8 10 21 t Yr wyt yn troi yn greulon yn fy erbyn:
yr wyt yn fyng-wrthwynebu â nerth dy law.
uSal. 107 27 22 u Yr ydwyt yn fy nerchafu ar y gwynt, yd-
wyt yn gwneuthur i mi farchogaeth [arno ef:] yr
ydwyt yn fy nhoddi fi [o'm] sylwedd.
vPreg.12 5, 23 v Canys myfi a wn y troi di fi i farwolaeth:
ac i'r tŷ rhacderfynedic i bôb dŷn byw.
wMat.14 31 24 w Diau nad estyn [Duw ei] law i'r bedd: er
[bod] gwaedd ganddynt yn ei ddrychineb ef.
xRhuf 12 15 25 x Oni wylais i dros yr hwn oedd galed
[ei] fyd: [oni] chyd-ofidiodd fy enaid a'r ang-
henog?
yIer.8,15 26 y Ond pan obeithiais i ddaioni, drygfyd a
ddaeth; pan ddisgwiliais am oleuni, tywyllwch
a ddaeth.
zCol.3,12 Amos 9 10 27 z Fy emyscaroedd a ferwasant, ac ni or-
phwysasant; dyddiau cystudd a'm rhacflaen-
asant.
aSal.42,9 a 77, 2 28 a Yr ydwyf yn rhodio yn ddu heb haul;
yr ydwyf yn gweiddi yn y gynnulleidfa.
bIer. 9,2 29 b Yr ydwyf yn frawd i'r ddraig; ac yn
gyfaill i gywion yr Estris.
cGalar.4 8 30 c Fyng-hroen a dduodd oddi am danaf; a'm
hescyrn a loscasant rhac sychdwr.
dEsa. 24 7 31 d Am hynny y mae fy nhelyn yn alarus; am
horgan [fel] llais rhai yn wylo.

## PEN. XXXI.

*Iob yn attolwg cael iniawn-farn: gan fynegu ei fuchedd dda oll.*

e Mat. 5 28 Ier. 14,4 MYFI e a wnaethum ammod a'm llygaid,
nad edrychwn ar forwyn?
fHeb. 13 3 2 f Canys pa rann [sydd oddi wrth] Dduw
oddi uchod? a [pha] etifeddiaeth [sydd oddi
wrth] yr Holl-alluog o'r uchelder?
gAmos12 28 Iudas 7 3 g Onid [oes] trychineb i'r anwir? a dieithr
[ddinistr] i'r rhai sy yn gwneuthur anwiredd?
h 2Cron. 16, 9 4 h Onid ydyw efe yn gweled fy ffyrdd i? ac
Diar. 5, 21 [onid] ydyw efe yn cyfrif fyng-hamrau i?
i Eph. 5, 15 5 i Os rhodiais mewn oferedd; ac [os] pry-
Preg. 3,5 surodd fy nhroed i dwyllo,
jSal. 25,1 a 130, 3 6 j Pwysed fi mewn cloriannau cyfiawn; a
2Cor. 10 18 mynned Duw wybod fy mherffeithrwydd.
k Preg. 11, 9 7 k Os gwyrodd fyng-herddediad allan o'r
Ezec. 6,9 ffordd; a myned o'm calon ar ol fy llygaid; neu
lynu dim aflan yn fy nwy-law;
8 l Bwytaed arall yr hyn a hauwyf; a dad- l Lef. 26 16
wreiddier fy hiliogaeth i. Mat. 7, 2
9 m Os twylled fyng-halon at wraig; ac os
cynllwynais wrth ddrws fyng-hymydog. m Preg. 7 26
10 n Maled fyng-wraig inne i [ŵr] arall; a Ier. 5,10 n 2 Sam.
gorwedded eraill gyd a hi. 12, 11
11 o Canys scelerder ydyw hyn, ac anwiredd o Gen. 38
iw farnu ydyw efe. 24
12 p Canys tân ydyw efe a yssa oni anrheith- p Diar. 6
io; ac efe a ddadwreiddiase fy holl ffrwyth. 33
13 q Os diystyrais farn fyng-was a'm gwasan- q 1 Sam.
aeth-ferch, pan ymrysonent hwy a myfi; 25 17
14 r Canys pa beth a wnawn pan gode Duw? r 2Thes.1
a phan ymwele efe, pa beth a attebwn iddo? 8
15 s Ond yr hwn a'm gwnaeth i yn y groth, ai s Mal. 2,
gwnaeth yntef? a'r un a'n cymhwysodd ni yn 10
y bru?
16 t Os atteliais [ddim] o ddeisyfiad y tlodion: t Luc 16
ac os gwneuthum i lygaid y wraig weddw 21
ddeffygio,
17 u Ac os bwyteais fy mwyd yn unic, ac oni u Rhuf.
fwytaodd yr ymddifad o honaw ef, 12, 13
18 v (Canys efe a gynnyddodd [gyd â] mi fel v 1 Tim.
[gyd â] thâd o'm hieuengtid; ac o groth fy mam 5, 5 Iago1,27
mi a dywysais y weddw.)
19 w Os gwelais [neb] yn marw o eisieu dillad; w Mat.25
ac [am] nad [oedd] wisc i'r anghenog, 36
20 x Os ei lwynau ef ni'm bendithiasant, ac x 1Tim.1
[oni] chynhesodd efe gan gnû fy ŵyn i, 16
21 y Os codais fy llaw yn erbyn yr ymddifad, y Esa. 58
pan welwn fyng-hymmorth yn y porth; 5 z Cron.19
22 z Syrthied fy mhalfais oddi wrth fy ys- 6 a P en 2
cwydd; a dryllier fy mraich allan o'r cymmal. 7
23 a Canys ofn dinistr Duw [oedd] arnaf; o a Gen.39,
herwydd ni allwn [ddiangc] gan ei uchelder 9 Phil.2,12
ef.
24 b Os gosodais fyng-obaith [mewn] aur; ac b Luc 12
os dywedais wrth aur coeth, Fy ymddyried 15 Sal. 52
[wyt.] Diar. 10 15
25 c Os llawenychais pan [fydde] fynghyfoeth c Eit. 5
yn aml: a phan gaffe fy llaw [gyfoeth] mawr. 11 Iago 5,5
26 d Os edrychais ar yr haul pan dywynne: d Rhuf.1
a'r lleuad yn cerdded yn odidog, 25
27 e Os twyllodd fyng-halon yn guddiedic [iw e Mat. 13
haddoli:] ac [os] cussanodd fy llaw i fyng-enau. 19 Hos.13,2
28 f Hyn hefyd [fuase] anwiredd iw barnu: f 1Sam.15 23
canys gwadaswn Dduw oddi uchod. Mat.4,10
29 g [Felly] a lawenychais i am drychineb yr g Sal. 35
hwn a'm casâe i, ac a ymgodais pan ddigwydd- 15
odd drwg iddo ef?
30 h Canys ni ddioddefais i daflod fyng-enau h Rhuf.12
bechu: gan ofyn ei einioes ef drwy felldigo. 14
31 i Oni ddywedodd dynion fy mwth i, Pwy a i Sal. 27,8
ddyru oi gnawd ef: [er hynny] ni ddigonid ni.
32 j Ni letteuodd dieithr-ddyn allan: agorais j Barn. 19
fy nrysau i'r fforddolion. 21

k Gen. 3 33 k Ni thoais fyng-hamweddau fel Adda gan
12 Act 5. 8 guddio fy anwiredd yn fy monwes,
Diar. 28 13 34 l Canys gallaswn orthrymmu tyrfa luosog,
l Num. 25 15 ond y teulu gwaelaf a'm dychryne i, fel y tawn
Ex. 32, 27 heb fyned allan [o'm] drws.
m Sal. 26 1 35 m Oh am un a'm gwrandawe, wele fy ny-
mymiad, yr Holl-alluog a desdolaetha gyd a mi
er scrifennu o'm gwrthwyneb-wr lyfr [i'm her-
byn.]
36 n Oni ddygwn ef ar fy ysgwydd: [oni]
n Mat. 5 11 rwymwn ef yn [lle] coron i mi?
37 o Mynegwn iddo ef rifedi fyng-hamrau: fel
o 1 Pedr 3 15 at dywysog y nessawn atto ef.
Diar. 28 1 38 p Os ydyw fy nhir i yn llefain yn fy erbyn:
p Hab. 2 11 ac [os] ydyw ei gwysau yn cyd-wylo,
q Iago 5, 4 39 q Os bwyteais i ei gryfdwr ef yn ddiardreth:
ac [os] cystuddiais enaid ei berchennogion ef.
r Pen 25, 6 40 r Deued yscall allan yn llê gwenith, a bulwg
a 14, 4 yn lle haidd: [felly] Y DIWEDDWYD
GEIRIAU IOB.

## PEN. XXXII.

*Elihu (pan dawodd Iob ai dri chyfaill) yn gofyn caniad i ddywedyd ei feddwl.*

FELLY y tri gŵr ymma a beidiasant ag
atteb i Iob: am ei [fod] efe yn gyflawn yn
ei olwg ei hun.
2 s A digofaint Elihu mab Berachel y Buziad
s Gal. 4. 18 Gen. 22 21 o genedl Ram a gynneuodd, ei ddigofaint ef a
Pen 34, 5 enynodd yn erbyn Iob am farnu o honaw ef ei
enaid yn gyfiawn ger bron Duw.
3 t Ai ddigofaint ef a gynneuodd yn erbyn ei
t Act. 24 dri chyfaill, am na chawsent hwy atteb, gan
Pen 9, 20 a 15, 6 farnu o honynt hwy Iob yn euog.
u Pen 4, 1 4 u Elihu hefyd a arhosasse ar Iob yn ei eir-
iau: canys yr oeddynt hwy yn hynach nag efo
oedran.
5 Pan welodd Elihu nad [oedd] atteb [cym-
mwys] gan y try-wyr, yna y cynneuodd ei
ddigofaint ef.
v Iago 1 6 v Am hynny Elihu mab Barachel y Buziad
a attebodd, ac a ddywedodd, Ieuangc ydwyf o
oedran, chwithau [ydych] henuriaid: am hynny
yr arswydais, ac yr ofnais ddangos fyngwybod-
aeth i chwi.
Heb. 5 7 w Meddyliais [fel hyn,] dyddiau a draethant,
Pen 8, 8, 9 a lliaws o flynyddoedd a ddyscant ddoethineb.
1 Cor. 2, 6 8 x Ond y mae yspryd mewn dyn: ac yspryd-
1 Cor. 3 oliaeth yr Holl-alluog sydd yn gwneuthur
Mat. 11 iddynt hwy ddeall.
16, 17 9 y Nid [gwŷr] mawrion fyddant ddoeth: ac
1 Cor. 1 nid henaf-gwŷr a ddeallant farn [yn unic.]
1 Cor. 12 10 Am hynny y dywedais, Gwrando fi; minne
9, 10 a ddangosaf fyng-wybodaeth.
11 Wele disgwiliais am [ddiwedd] eich geiriau,
clust-ymwrandewais hyd oni [welais] eich deall
chwi, tra y chwiliasoch chwi am eiriau.

12 x Ystyriais hefyd wrthych chwithau, ac z Diar. 18 13
wele nid [oedd un] o honoch yn argyoeddu [Iob] Act. 18, 28
gan atteb ei eiriau ef. 1 Tim. 1, 7
13 y Rhac dywedyd o honoch, Ni a gawsom y 1 Cor. 1 29
ddoethineb; y mae Duw yn ei chwalu ef, ac Ier. 9, 23
nid dyn. Pen 1, 21
14 Er na hwyliodd efe [ei] ymadroddion yn
fy erbyn i; myfi ai hattebaf ef, ond nid fel yr
attebasoch chwi.
15 z Hwy a ddychrynasant, nid attebasant z Amos 5 13
mwy; gwrthodasant lefaru. 1 Cor. 1, 19
16 Wedi disgwyl o honof, gan na lefarant,
eithr sefyll heb atteb mwy.
17 Minne a attebaf fy rhan, minne a ddang-
osaf fyng-wybodaeth.
18 a Canys yr ydwyf yn llawn geiriau; y mae a 2 Cor. 5 14
ysbryd ynof yn fyng-hymmell i.
19 b Wele fy mol [sydd] fel gwin yr hwn nid b Act. 4 20
agorid; y mae efe yn hollti fel costrelau new- Mat. 9, 17
yddion.
20 c Dywedaf fel y cafwyd fy anadl; agoraf c Eph. 6 19
fyng-wefusau, ac attebaf.
21 d Ni dderbynniaf yn awr wyneb neb; ni d Lef. 19 15
ragrithiaf wrth ddyn. Act. 12,
22 e Canys ni wn pe rhagrithiwn pa gynted 22 e Mat. 22
i'm cymmere fyng-wneuthur-wr fi ymmaith. 16 Act. 12, 23

## PEN. XXXIII.

*Rhesymmau Elihu yn erbyn y geiriau a ddywedodd Iob uchod, gan ddangos fod Duw trwy amryw foddion yn denu dyn atto.*

GAN f hynny Iob clyw attolwg fy ymad- f Act. 10, 33
roddion; a gwrando fy holl eiriau.
2 g Wele'r ydwyf yn awr yn agorid fyngenau; g Sal. 37 31
mae fy nhafod yn dywedyd yn hafod fyng-
enau.
3 h Uniondeb fyng-halon [fydd] fyng-eiriau; h 1 Thes. 1, 3, 4
a'm gwefusau a adroddant wybodaeth bûr.
4 i Yspryd Duw a'm gwnaeth i; a chwythad i Pen 32, 33
yr Holl-alluog a'm bywioccaodd i.
5 Os gelli fy atteb i; ymbaratoa [a] saf o'm
blaen i.
6 j Wele yr ydwyfi o flaen Duw fel tithe;
allan o'r clai y torrwyd finne. j 2 Cor. 5 20
7 k Wele ni'th ddychryna fy arswyd i; ac ni k Pen 13 21
bydd fy llaw drom arnat.
8 l Ond ti a ddywedaist lle y clywais i; ac myfi l Deut. 13
a wrandewais ar lais [dy] ymadroddion di. 14
9 m Pûr [ydwyf] fi heb gamwedd; glân [ydwyf] m Pen 9
ac heb anwiredd ynof. 30 a 10, 7
10 n Wele efe a gafodd achosion yn fy erbyn; n Pen 13 17
y mae efe yn fyng-hyfrif yn elyn iddo. a 13, 24
11 o Y mae efe yn gosod fy nhraed mewn cyff- o Pen 13 27 a 31, 4
ion; y mae efe yn gwilied fy holl lwybrau. p Iago 5, 2 Sal. 115, 3
12 p Wele [yn] hyn mi a attebaf, nid ydwyt
gyfiawn: canys mwy ydyw Duw na dyn. q Esa. 45 9
13 q Pa ham yr ymrysonaist yn ei erbyn ef? o Mat. 20 15

herwydd nad ydyw efe yn atteb am ei holl eiriau.
r Sal. 62, 11 14 [r] Pan ymddiddano Duw unwaith neu ddwy
Mica 6,9 waith, ni ddeall [dyn] hynny.
s Num. 12, 6 15 [s] Drwy hûn, [a thrwy] weledigaeth y nos,
pan syrthio trym-gwsc ar ddynion, wrth hep-
pian ar wely,
t Luc 14, 54 16 [t] Yna 'r egyr efe glust dynion; ac y selia
Sal. 94,12 efe eu cospedigaeth hwy,
u Act. 9, 3, 5 17 [u] I dynnu dyn [oddiwrth] waith [drwg;] ac
2 Cor. 12, 7 fel y gorchguddio efe falchter oddi wrth ŵr,
18 [v] [Fel] yr attalio efe ei enaid ef o'r pwll: ai
v 1 Cor. 11, 32 hoedl ef rhag myned o'r cleddyf trwyddi hi.
w Esa. 27, 9 19 [w] Ac efe a geryddir trwy ofid ar ei wely; a
lliaws ei escyrn ef [â gofid] caled.
x Sal. 10, 7, 18 20 [x] Fel y ffieiddio ei fywyd ef fara; ai enaid
fwyd blasus.
y Sal. 102, 5 a 22, 1 21 [y] [Fel] y darfyddo ei gnawd ef allan o olwg;
fel y safo ei escyrn allan [y rhai] ni welwyd [o'r
blaen.]
z 2 Sam. 24, 26 22 [z] Ac y nessao ei enaid i'r clawdd; ai fywyd
i [loesion] anghefol.
a Mat. 13, 52 23 [a] Os bydd ganddo ef gennad o ladmerudd,
Act. 2,38 un o fil, i ddangos i ddyn ei uniondeb ef;
24 Yna efe a drugarha wrtho ef, ac a ddywed,
Gollwng ef rhac disgyn o honaw i'r clawdd,
myfi a gefais iawn.
b Sal. 103, 4 25 [b] Ireiddiach [fydd] ei gnawd ef na bachgen;
efe a ddychwel at ddyddiau ei ieuengctid.
c 2 Cron. 33, 12 26 [c] Pan weddio ar Dduw yntef a fydd bodd-
Sal. 4, 6 lon iddo ef, fel yr edrycho yn ei wyneb ef mewn
gorfoledd; canys efe a rydd i ddyn ei gyfiawn-
der drachefn.
27 [d] Efe a edrych ar ddynion [eraill] ac a ddywed
d 2 Sam. 12, 13 Pechais, a gŵyrais iniondeb, ac ni lwyddoddi mi.
Rhuf. 6, 21 28 [e] Efe a ollyngodd fy enaid rhag myned
e Esa. 38, 17 heibio i'r clawdd; a'm bywyd a wel oleuni.
f Mica 7, 18, 19 29 [f] Wele hyn oll a wna Duw ddwy-waith
[neu] dair â dyn,
g Sal. 56, 13 30 [g] I ddwyn ei enaid ef o'r pwll; i oleuo yng-
oleuni y rhai byw.
31 Gwrando Iob clyw fi; taw fel y llefarwyf
inne.
32 [h] Od oes geiriau gennit ti, atteb fi; llefara,
h 2 Cor. 1, 24 canys chwenychwn dy gyfiawnhau di.
i Sal. 34, 11 33 [i] Onid ê gwrando di arnafi, bydd ddistaw,
Diar. 3,19 ac myfi a ddyscaf i ti ddoethineb.

## PEN. XXXIV.

*Yn erbyn cyfiawnder Iob, y mae Elihu yn dangos cyfiawnder Duw ai allu.*

AC Elihu a lefarodd, ac a ddywedodd,
j Diar. 1, 5 2 [j] [Ha wŷr] doethion gwrandewch fy
1 Tim. 4, 12 ymadroddion; a [chwychi] y rhai ydych yn
gwybod, clust-ymwrandewch.
3 [k] Canys y glust a farna ymadroddion; fel yr
k Pen. 12, 11 archwaetha y genau fwyd,
l Rhuf. 12, 2 4 [l] Dewiswn i ni ein hunain iniondeb, fel y
gwybyddom rhyngom pa beth sydd dda.

5 [m] Canys dywedodd Iob, Cyfiawn ydwyf; a m Luc 1, 6
Duw a symmudod fyng-hyfiawnder.
6 [n] A ddywedaf i gelwydd yn erbyn fy mater n Pen 9, 7 a 9, 17
fy hun? trom [ydyw] dy saeth heb gamwedd
ynof.
7 [o] Pa ŵr [fydde] fel Iob, [yr hwn] a ŷf wat-
worgerdd fel dyfroedd? o Pen 1, 8 Diar. 4, 17
8 [p] Ac a rodiodd yng-hymdeithas gyd a p Sal 50, 18
gweithred-wyr anwiredd; ac i fyned gyd â
dynion annuwiol.
9 [q] Canys dywedodd, Ni fuddia i ŵr, ewyll- q Pen 9, 22
ysio o honaw ef [rodio] gyd â Duw. Mal 3,14
10 [r] Am hynny chwychwi wŷr calonnoc, gwr-
andewch arnaf, pell fyddo Duw oddi wrth an- r Sal 92,15
nuwioldeb, a'r Hollalluoc oddi wrth anwiredd.
11 [s] Canys efe a dâl i ddyn ei waith; ac efe s Sal 62,12
a wnaiff i ŵr gael yn ol ei lwybr ei hun. Diar 5,21
12 [t] Diau hefyd na wna Duw yn annuwiol; t Gen 18, 25
ac na ŵyra'r Holl-alluoc farn.
13 [u] Pwy heb ei law ef sydd yn llywodraethu Sal 45, 6 u 1 Cron 29, 11
y ddaiar iddo ef? a phwy a osododd yr holl fyd? Diar 8,31
14 [v] Pe gosodase [Duw] ei feddwl yn erbyn v Sal 26,9
[dyn; a phe] cascle efe atto ei hun ei ysbryd, ai
chwthad ef,
15 [w] [Yna] pob cnawd a gyd-drenge; a dyn a w Gen 3, 19
ddychwele i'r pridd. Preg. 12, 7
16 [x] Od [oes] ddeall [ynot] gwrando hyn; x 1 Cor 10, 15
clust-ymwrando a llef fy ymadroddion.
17 [y] A gaiff yr hwn sydd yn cassau barn lyw- y 2 Sam 23, 3
odraethu? ac a elwi di yr hwn sydd gyfiawn
odieth yn annuwiol?
18 [z] A dywedir wrth frenin, O [ŵr] drygion- z Ex 22, 28
us; [ac] O annuwiol, wrth dywysogion?
19 [a] Yr hwn ni dderbyn wynebau tywysogion, a Rhuf 2, 11
lle nid adwaenir y goludoc o flaen y tlawd;
canys gwaith ei ddeheu-law ef ydyw pawb,
20 [b] Hwy a fyddant meirw mewn moment, a b Dat 18, 8
hanner nos y cynhyrfa y bobl, ac yr ant heibio; Ex 12,29
a'r cadarn a symmudir heb law. Dan 2,45
21 [c] Canys ei lygaid ef [a fyddant] ar ffyrdd c 2 Cron 16, 9
dŷn; ac efe a wel ei holl gamrau ef.
22 [d] Nid [oes] dywyllwch, ac nid [oes] gyscod d Sal 139, 12
angeu; lle y gall y rhai sydd yn gweithio an-
wiredd ymguddio.
23 [e] Canys ni esyd [Duw] ar ddyn ychwaneg e Esa 9, 13
[nac a haeddo efe,] fel y gallo efe fyned i'r gyf-
raith â Duw.
24 [f] Efe a ddryllia rai cedyrn yn anifeiriol; ac f Dan 2, 21 35
a esyd eraill yn eu lle hwynt.
25 [g] Am hynny efe a gyhoedda eu gweithredo- g Dat 2, 23 a 19, 18
edd hwy; a phan newidio efe y nos, hwy a ddryllir.
26 [h] Efe ai teru hwynt megis rhai annuwiol yn h Sal 58, 10
amlwg.
27 [i] Am iddynt hwy gilio oddiar ei ol ef; ac na i 2 Pedr 2, 21
ddeallant ei holl ffyrdd ef. j Iago 5, 4
28 [j] Gan ddwyn gwaedd y tlawd arnynt hwy; Sal 12, 5

canys efe a wrendu waedd y trueniaid.
29 [k] Canys pan esmwythâo efe, Pwy a anes-
mwythâ? a phan guddio efe ei wyneb, Pwy a
edrych arno ef? sef ar genhedlaeth, neu ar ddyn
unic.
30 [l] Fel na theyrnaso dŷn ffuantus, [ac] na
rwyder y bobl.
31 [m] Ond wrth Dduw'r hwn a ddywedodd,
Mi a faddeuais, nid anrheithiaf, [y dylid dyw-
edyd,]
32 [n] Heblaw a welaf dysc di fi: o gwneuthum
anwiredd, ni wnaf fi mwy.
33 A ydyw [hyn] o honot ti? efe a dâl hynny
os diystyri di [y neb a'th rybuddio,] os dewisi
di hynny, ond ni [wnawn] i: dywet yn awr yr
hyn a wyddost.
34 Gwŷr call a ddywedant gyd â mi: a'r gŵr
doeth yr hwn a'm clywe.
35 Iob a ddywedodd yn annoeth: ai eiriau nid
ydynt mewn deall.
36 [o] Fy nhad profer Iob hyd y diwedd: am
[roddi] attebion tros ddynion anwir.
37 [p] Canys efe a chwanegodd scelerder at ei
bechod, efe a gurodd ei ddwylo yn ein plith ni:
ac a amlhâodd ei eiriau yn erbyn Duw.

## PEN. XXXV.

*Nad yw duwioldeb neu annuwioldeb yn dda, nac yn ddrwg i Dduw, ond i ddyn. 13 Ac na wrendu Duw ar bechadur.*

AC Elihu a lefaroedd, ac a ddywedodd,
2 [q] A gyfrifaist di yn lle iniondeb, ddyw-
edyd o honot. [Y mae] fyng-hyfiawnder i yn fwy
na [chyfiawnder] Duw?
3 [r] Os gofynni, pa les a wnaiff [hynny] i ti [gan
ddywedyd,] Pa beth a ennillaf oddiwrth fy
mhechod?
4 [s] Myfi a attebaf i ti eiriau, ac i'th gyfeillion
gyd a thi.
5 [t] Edrych ar y nefoedd a gwel: ac edrych ar
y cwmylau [y rhai] ydynt uwch na thi.
6 [u] Os pechi, Pa [niwed] a wnei di iddo ef? os
aml fydd dy anwireddau, Pa [fudd] a wnei di
iddo ef?
7 [x] Os cyfiawn fyddi, Pa beth a roddi di iddo
ef? neu pa beth a gymmer efe o'th law di?
8 [y] I ŵr fel ty di dy annuwioldeb: ac i fab dyn
dy gyfiawnder a wna [ryw beth.]
9 [z] Hwynt a wnant wrth fawredd i'r gorth-
rymmedic lefain: hwy a floeddiant rhac braich
gwŷr mawr.
10 Ond ni ddywed [neb,] Pa le y mae Duw'r
hwn a'm gwnaeth i? yr hwn sydd yn rhoddi
achosion i ganu y nôs [iddo ef.]
11 [y] Yr hwn sydd yn ein dysgu yn fwy nag
anifeiliaid y ddaiar: ac yn ein gwneuthur yn
ddoethach nag ehediad y nefoedd.
12 [z] Yna hwy a waeddant rhac balchder y
rhai drwg, ac ni chlyw efe.
13 [a] Diau na wrendu Duw oferedd: ac nad
edrych yr Holl-alluoc arno.
14 [b] Er dywedyd o honot [Oh Dduw] nid
edrychi di ar hyn: [y mae] barn ger ei fron ef,
disgwil di wrtho ef.
15 [c] Ac yn awr am nad ymwelodd ei ddig-
ofaint ef, ac na fynnodd efe ŵybod y dirfawr
amldra [o bechodau.]
16 [d] Am hynny y lleda Iob ei safn [mewn]
oferedd: ac yr amlhâ efe eiriau heb ŵybodaeth.

## PEN. XXXVI.

*Elihu yn dangos gallu, doethineb, a thrugaredd Duw.*

AC Elihu a lefarodd, ac a ddywedodd,
2 [e] Disgwyl wrthif y chydig, ac myfi a
fynegaf i ti: canys [y mae] gennif ymadroddion
etto tros Dduw.
3 [f] O bell y cymmeraf fyng-wybodaeth: ac i'm
gwneuthur-wr y rhoddaf fi gyfiawnder.
4 [g] Canys yn wir nid celwydd fydd fy ymad-
roddion: [y mae un] perffaith o wybodaeth gyd
a thi.
5 [h] Wele cadarn ydyw Duw, ac ni ddiystyra
efe [neb;] cadarn o gadernid a doethineb [yw
efe.]
6 [i] Nid achub efe fywyd yr annuwiol: ac efe
a rydd iniondeb [i'r] trueiniaid.
7 [j] Ni thynn efe ei olwg oddi ar y cyfiawn,
eithr efe ai gesyd hwynt gyd a brenhinoedd ar
yr orsedd-faingc yn dragywydd, ac felly y der-
chefir hwynt.
8 [k] Ac os hwy wedi eu rhwymo â gefynnau, a
gaethiwir â rhaffau gorthrymder,
9 [l] Yna efe a ddengys iddynt hwy eu gwaith:
a'r modd y gorthrechodd eu hanwireddau
hwynt.
10 [m] Ac a egyr eu clustiau iddynt hwy i [dder-
byn] cerydd: ac a ddywed am droi o honynt
hwy oddi wrth anwiredd.
11 [n] Os gwrandawant hwy, ac [os] gwasan-
aethant hwy [ef,] hwynt a dreuliant eu dyddiau
mewn daioni, ai blynyddoedd mewn hyfrydwch.
12 [o] Ac oni wrandawant, cleddyf a aiff trwy-
ddynt hwy: a hwynt a drengant heb wybod.
13 [p] Ond y rhai rhagrithiol o galon a chwan-
egant ddig: ni waeddant [arno ef] pan rwymo
efe hwynt.
14 [q] Eu henaid hwythau fydd marw mewn
ienengctid: ai bywyd gyd a'r puttein-wŷr.
15 [r] Efe a wared y truan oi orthrymder: ac a
egyr eu clustiau hwynt mewn gorthrymder.
16 [s] Felly hefyd efe a'th wthiase di o enau cyf-
yngdra i ehangder, dann yr hwn ni [buase]
wascfa: a saig dy fwrdd di [fuase] yn llawn
brasder.
17 [t] Ond ti a gyflawnaist farn yr annuwiol: [am

hynny] barn a chyfiawnder [a'th] ddaliant.
u Sal. 49, 7 18 u Pan [ddigwyddo] digofaint [gochel] rhac
gyrru o honaw ef dydi ymmaith yn [dy] gyfoeth
ac na'th waredo iawn mawr,
v Diar. 11, 4 19 v A brissia efe ar dy olud ti? ni [phrissia
Seph. 1, 8 efe] ar aur, nac ar holl gadernid nerth.
w Ex. 12, 29 20 w Na fefyria liw nos pa fodd y torrir ym-
maith pobloedd oi lle.
x Sal. 66, 18 21 x Ymochel, nac edrych ar anwiredd, canys
Heb. 11, 35 hynny a ddewisaist o flaen cystudd.
y Mat. 17, 5 22 y Wele Duw ai nerth a dderchafa: pwy sydd
yn dyscu fel ef?
z Sal. 40, 13 23 z Pwy a orchymynnodd ei ffordd ef iddo?
1 Ioan 1, 5 a phwy a ddywed, Gwnaethost anwiredd.
a Dat. 15, 3, 4 24 a Cofia am fawrhau o honot ei waith ef: ar
yr hwn yr edrych dynion.
b Sal. 93, 6 25 b Yr hwn a welodd pob dyn: ac a ganfu
dyn o bell.
c 1 Cor. 13, 12 26 c Wele mwy [ydyw] Duw nac y gwyddom
Sal. 90, 2 ni: ac ni fedrir chwilio allan nifer ei flynydd-
oedd ef.
d Sal. 147, 8 27 d Canys efe a wna y defnynnau dyfroedd
yn fân, [y rhai] a dywalltasant law oi gwmwl ef,
e Sal. 68, 9 28 e Pan ddiferodd yr wybrennau i lawr [pan]
ddefnynnasant hwy ar ddynion lawer.
f Sal. 104, 3 29 f Hefyd a ystyria [dyn] danadau y cwmyl-
a 18, 12 au: [a] thwrwf ei babell ef?
g Pen. 37, 3 30 g Wele efe a danodd ei oleuni arno: ac a
orchguddiodd waelod y môr.
h Act. 14, 17 31 h Canys â hwynt y barna efe y bobloedd:
Heb. 6, 8 [ac] y rhydd efe fwyd yn helaeth.
i 1 Bren. 18, 44 32 i Efe a orchguddia oleuni â chwmylau [me-
gis] a dwylaw: ac efe a rydd orchymyn yn
erbyn hynny er mwyn cyfryng-wr.
33 Efe a ddengis ei garedigrwydd iddo ef, i
anifeiliaid hefyd, [ac] i ffrwyth [y ddaiar.]

## PEN. XXXVII.

*Elihu yn dangos gallu Duw yn y taranau, a'r eira, a'r gwynt, a'r glaw.*

j Pen. 36, 1 AM j hyn hefyd y cryn fyng-halon, ac y dy-
chlamma hi oi lle.
k Amos 3, 8 2 k Gan wrando gwrandewch ar gynhyrfiad ei
leferydd ef: ac ar sain [yr hwn] a ddaw allan
oi enau ef.
l Deut. 8, 24 3 l Efe ai hyfforddia dann yr holl nefoedd: ai
oleuni hyd eithafoedd y ddaiar.
Dat. 18, 1
Esa. 26, 6 4 m Swn a rua ar ei ol ef, efe a wna daranau â
m Sal. 29, 3 llais ei odidawgrwydd: ac ni oeda efe hwynt
pan glywir ei dwrwf ef.
n Dat. 15, 3 5 n Efe a wna daranau ai lais yn rhyfedd: y
Sal. 77, 19 maeefe yn gwneuthur [pethau] mwy nag a wydd-
om ni.
o Gen. 1, 4 6 o Pan ddywed efe wrth eira, Bydd [ar] y
Sal. 11, 6 ddaiar, ac wrth gafod o law: yn y man cafod
glaw ei nerth ef [a ddaw.]
p Ex. 9, 19 7 p Efe a selia law pob dyn, fel yr adwaeno
Sal. 111, 3 efe ei holl weith-wyr.
8 q Y bwyst-fil a aiff iw loches: ac a drig yn ei q Sal. 104, 20, 21
dyllau.
9 O'r dehau y daw corwynt: ac oerni oddi
wrth y gogledd-wynt.
10 r Ai wynt y rhydd Duw rew: ac a gyfyn- r Sal. 147, 16
galed y dyfroedd.
11 s Hefyd efe a flina gwmwl yn dwfrhau [y s Pen. 36, 30
ddaiar:] efe a wascar gwmwl ei lewyrch.
12 t Ac y mae [y cwmwl] hwnnw yn ymdroi t Sal. 104, 24
oddi amgylch wrth ei lywodraeth ef: fel y
gwnelont hwy beth bynnac a orchymynno efe
iddynt hwy ar byd wyneb y byd, a'r ddaiar:
13 u Ai [bod] yn gospedigaeth, ai [yn lles] iw u Ex. 3, 18, 23
ddaiar ef, ai yn ddaioni, efe a bar gael hynny. 1 Sam. 12, 18
14 v Gwrando hyn Iob: saf, ac ystyria ryfedd- Hos. 9, 3
odau Duw. 1 Bren. 18, 45
15 w A wyddost ti pan esid Duw y rhai hyn- 2 Sam. 21, 10
ny? a phan wnel efe i oleuni ei gwmwl ef lew- v Gen. 14, 13
yrchu?
16 x A wyddost ti oddi wrth bwysau y cwmyl- Sal. 111, 3 w Sal. 119, 90
au? [a] rhyfeddodau Duw [yr hwn sydd] ber- x Pen. 36, 4
ffaith gwbl o wybodaeth?
17 y Fod dy ddillad yn wresog, pan baro efe 1 Sam. 2, 3 y Mat. 1, 27
y ddaiar yn dawel o'r dehau?
18 z A daenaist ti gyd ag ef yr wybrennau, y z Esa. 44, 24
rhai a siccrhauwyd fel drych toddedic? Rhuf. 1, 20
19 Gwna i ni wybod pa beth a ddywedwn
wrtho ef: ni allwn ni gyfleu [ein geiriau] gan
dywyllwch [ein meddyliau.]
20 A fynegir iddo ef os llefaraf, pe dywede
neb, diau y difethid ef?
21 a Canys yn awr nid edrych [neb] y goleuni a 1 Cor. 13, 9
[pan] fyddo efe ddisclaer yn yr wybrennau: wedi
myned o'r gwynt trosodd ai puro hwynt.
22 Trwy ogledd-wynt y daw [goleuni] euraid:
ond [y mae] yn Nuw ogoniant mwy ofnadwy.
23 b [Y mae] efe yn Holl-alluog, ni allwn ni ei b 1 Tim. 6, 16
gael ef: yn ardderchawg o nerth a barn, ac yn
aml o gyfiawnder, ni chystuddia efe.
24 c Am hynny ofned dynion ef: nid edrych c Mat. 11, 25
efe ar neb doeth [yn eu] meddwl [eu hun.] a 11, 25

## PEN. XXXVIII.

*Duw yn ymddiddan ag Iob, ac yn ei ddyscu ef trwy ddangos iddo odidawgrwydd ei greaduriaid.*

YNA d 'r Arglwydd a attebodd Iob o'r cor- d Pen. 40, 1
wynt, ac a ddywedodd,
2 e Pwy yw hwnnw sydd yn tywyllu cyngor e Pen. 42, 3
ag ymadroddion heb wybodaeth?
3 Gwregysa dy lwynau yn awr fel gwr: a Diar. 19, 21
mynega i mi yr hyn a ofynnwyf i ti. 1 Tim. 1, 7
4 f Pa le'r oeddit ti pan sylfaenais i y ddaiar: f Sal. 104, 5
mynega os medri ddeall? 1 Cron. 8, 38
5 Pwy a osododd ei mesurau hi os gwyddost?
neu pwy a estynnodd linin mesur arni hi?
6 Ar ba beth y sicrhauwyd ei gwadnau? neu

pwy a fwriodd ei chongl-faen hi?
g Sal. 148 7 g Pa le'r oeddit ti pan gyd ganodd sêr y borau:
Zec. 4,7 Ezra 3,10 ac y gorfoleddodd holl feibion Duw?
11 Pen 1 6 8 h A phwy a gaeodd y môr â dorau, pan
h Ier. 5, 22 ruthrodd efe allan megis y deue un allan o'r
Sal. 104,9 groth?
Diar. 8, 29 9 Pan osodais i y cwmwl yn wisc iddo ef: a
niwl yn rhwymyn iddo ef:
10 i Pan osodais fyng-orchymyn arno ef, a phan
i Sal. 33,7 osodais ei drosolion ai ddorau,
j Sal. 46, 15 a 89,10 a 93,4 11 j Gan ddywedyd, Hyd ymma y deui di, ac
na thyret ym-hellach: ac ymma'r ymesyd y
Zec. 10 11 traeth yn erbyn ymchwydd dy donnau di.
k Sal. 74 16 a 148,8 12 k A orchymynnaist ti y borau yn dy ddydd-
l Sal. 104 35 iau? a ddangosaist ti i'r mawr-ddydd ei lle?
Ex. 14,27 13 l I ymaflyd yn eithafoedd y ddaiar, fel yr
escydwer rhai annuwiol o honi hi?
14 m Canys hi a ymnewidia fel clai seliedic: a
m Ester 7 8 hwy a safant fel dillad.
n Pen 18 5 15 n Fel yr attelid oddiwrth y rhai annuwiol
eu goleuni: ac fel y dryllid y braich derchaf-
Sal. 10,15 edic.
o Sal. 77 19 16 o A ddaethost ti i waelod dyfnderoedd y
môr? ac a rodiaisti yng-hilfach y dyfnder?
p Sal. 119 17 p A ddatcuddied pyrth marwolaeth i ti? ac
a welaist ti byrth cyscod angeu?
q Eph. 3 18 18 q A ystyriaist ti ehangder y ddaiar? mynega
os adwaenost ti y hi ei gyd.
19 r Pa ffordd yr eir lle y trig goleuni? a pha
le y mae lle tywyllwch?
20 Gan i ti ddeall hyn oi gwrr, a medru
llwybrau ei dŷ ef.
21 A wyddit ti yna y genid tydi? ac y bydde
rhifedi dy ddyddiau yn fawr?
s Sal. 135 7 22 s A aethost ti i dryssorau'r eira? neu a weli
di dryssorau y cenllysc?
23 Y rhai a atteliais i hyd amser cyfyng-der:
hyd ddydd ymladd, a rhyfel.
24 Pa ffordd yr ymranna goleuni? ac yr ym-
wascar y dwyrein-wynt ar y ddaiar?
25 Pwy a rannodd dymhestlaw yn aberoedd?
ac a wnaeth ffordd i fellt a tharanau?
t Sal. 107 35 26 t I lawio ar y ddaiar lle ni byddo gŵr: a'r
anialwch yr hwn sydd heb ddyn ynddo?
27 I gyflawni lle wedi ei ddifwyno, a lle an-
rhaithiedic: ac i beri i gnwd o las-wellt dyfu?
u Ier. 14 28 u A oes dad i'r glaw: neu pwy a gen-
v Ex. 16 14 hedlodd ddefnynnau'r gwlith?
Sal. 147 16 29 v O groth pwy y daeth yr iâ allan? a phwy
w Pen. 36 a genhedlodd lwyd-rew y nefoedd?
30 w Fel yr ymguddio y dyfroedd megis car-
reg pan rewo wynebau y dyfnder.
† y saith seren. Pen 9, 9 31 A rwymi di hyfrydwch † Pleiades? neu a
Am 5,8 ddatodi di rwymau Orion?
‡ y deuddeg arwydd 32 A ddygi di allan ‡ Mazzaroth yn eu hamser:
neu a dwisi di Arcturus ai feibion?

33 x A adwaenost ti ansodd y nefoedd: o os- x Sal. 119 9
odi di ei lywodraeth ef ar y ddaiar? Gen 1,16
34 y A dderchefi di dy lef ar y cwmwl, hyd y Iago 5 17
oni orchguddio helaethrwydd o ddyfroedd Pen 35,
dydi? 27
35 A ddanfoni di fellt allan fel yr elant? a
ddywedant hwy wrthit, Wele ni?
36 z Pwy a osododd ddoethineb yn yr aren- z Sal. 51,7
nau? neu pwy a roddodd ddeall i'r galon? 4 Pedr 3
37 Pwy a gyfrif yr wybrenau drwy ddoethin- Preg. 2 26
eb? a phwy a dywallt i lawr gostrelau y nef- Iago 1,5 17
oedd?
38 Gan wlychu pridd wrth y tywalltiad hwn-
nw, fel y glyno y priddellau?
39 a A elli di hela sclyfaeth i hen lew? neu a a Sal. 104 21
elli di lenwi gwangc cenawon llewod? a 145, 15
40 Pan ymgrymmant hwy mewn llochesau:
pan eisteddant mewn ffau i gynllwyn;
41 b Pwy a baratoa i'r cig-frain eu bwyd pan b Sal. 147
lefo eu cywion ar Dduw, [pan] wibiant hwy o 9
eisiau bwyd?

## PEN. XXXIX.

*Duw yn dangos ei allu i Iob yn yr assyn wyllt, yr unicorn, a'r march.*

A c ADWAENOST ti yr amser i eifr gwyllt- c Sal. 104 18
ion i fwrw rhai bychain? a wili di ['r amser] a 29, 9
y bwrw'r ewigod loi?
2 d A gyfrifi di y misoedd [y rhai] a gyflawn- d Ier. 5
ant hwy? ac a adwaenost ti'r amser pan fwriant 24
hwy rai bychain?
3 e Pa fodd y gorweddant, y bwriant hwy eu e Sal. 29,9
llydnod, [ac] yr ymadawant ai gofid?
4 f [Pa fodd] yr ymgryfha eu llydnod hwy, y f Deut.
cynnyddant hwy yn y maes? yr ânt hwy allan, 32, 15
ac ni ddychwelant attynt hwy?
5 g Pwy a ollyngodd anifail-gwyllt yn rhydd? g Gen. 16 12
a phwy a ddatododd rwymau'r assyn wyllt? Iago 3,7
6 h [Myfi] yr hwn a osodais yr anialwch yn dŷ Ier. 2.24 Sal. 32,9
iddo: a'r morfa yn drigfa iddo ef. h Phil. 1,
7 Efe a chwardd am [benn] gwerin tref: ni
wrendy efe ar lais geilwad.
8 i Cilfachau mynyddoedd [ydyw] ei borfa ef: i 1 Pedr 2
ac efe a gais bob glas-wellt.
9 j A gydtuna'r unicorn i'th wasanaethu di? a j Num. 23 22
erys efe tros nos wrth dy bresebau di? Deut. 33 17
10 A rwymi di unicorn ai did mewn rhych?
a lyfna efe ddolydd ar dy ol di?
11 A ymddyriedi di iddo ef er bod ei gryfdwr
ef yn fawr? a adewi di dy lafur iddo ef?
12 k A gredi di iddo ef, y dwg efe dy hâd ti k Deut.
drachefn? ac y cascl efe i'th lawr-dyrnu di? 15, 14
13 [A roddaist ti] adenydd hyfryd i'r peunod?
neu adenydd a phlû i'r Estris?
14 Canys hi a ad ei hwyau ar y ddaiar? ac ar
y pridd y cynhesa hi [hwynt.]
15 Ac y mae hi yn gollwng tros gof y galle

troed eu dryllio hwynt: neu anifail y maes eu
sathru hwynt.
lGalar. 4 16 [l] Caled yw hi wrth ei chywion, [fel pe] na
3 [byddent] eiddo hi: ei gwaith hi [sydd] yn ofer,
ac yn ddifraw.
mPen 35 17 [m] Canys Duw a wnaeth iddi hi ollwng
11 doethineb dros gof: ac ni chyfrannodd iddi hi
Diar. 7 23 a 37,8 ddeall.
18 Yn y cyfamser ac yr ymgodo hi yn uchel:
hi a ddiystyra y march, ai farchog.
nEx.15,1 19 [n] A roddaist ti gryfdwr i farch: neu a ddys-
3 caist iddo ef weryru?
Ier. 8, 6 20 A ddychryni di ef fel ceiliog rhedyn? dy-
chryn [ydyw] ardderchawgrwydd ei ffroen ef.
oBarn. 5 21 [o] [Ei draed ef] a gloddiant mewn glynn, ac
22 efe a lawenycha o [wir] gryfdwr: efe a aiff allan
Sal. 19,5 i gyfarfod arfau.
22 Efe a ddiystyra arswyd: canys ni ddych-
ryna efe, ac ni ddychwel efe rhag ofn cleddyf.
p Ier. 3, 23 [p] [Pan] drystio cawell saethau arno ef: pan
24 ddisclaerio gwaiw-ffon neu laif:
24 [Yna] mewn cynnwrf a dychryn y cloddia
efe y ddaiar: ac ni chred mai llais yr udcorn [a
glyw efe.]
q Ezec. 25 [q] Pan [glywo] efe udcorn, efe a weryra, ac
36,2 efe a arogla o bell ryfel, [a] chynnwrf tywys-
Barn. 16 ogion, a gwaedd.
19 Pen 14,5 26 Ai trwy dy ddeall di'r eheda y gwalch: [ac]
y lleda efe ei adenydd tua'r dehau?
rRhuf.16 27 [r] Ai wrth dy orchymyn di'r ymgyfyd eryr,
18 ac y derchafa efe ei nyth?
Ier.49,16 28 Y trig efe, ac yr erys [mewn] craig: [ac]
ar fin craig megis [mewn] castell?
29 Oddi yno y chwilia efe am fwyd: ei lygaid
ef a ganfyddant o bell.
30 Ei gywion ef hefyd a sugnant waed: a lle
[y byddo] celanedd yno [y bydd] efe.
31 Yr Arglwydd hefyd a attebodd Iob, ac a
ddywedodd,
32 Ai dysceidieth yw ymryson a'r Holl-all-
uog? attebed argyhoedd-wr Duw i hynny.
33 Ac Iob a attebodd yr Arglwydd, ac a
ddywedodd,
34 Wele gwael ydwyf, i ba beth yr attebaf i
ti? mi a osodais fy llaw ar fyng-enau.
35 Dywedais un-waith, ond nid attebaf [mwy:]
ac eil-waith, ond ni chwanegaf.

## PEN. XL.

*Gallu Duw yn ymddangos yn yr Elephant. 20 Ar Lefiathan.*

sMat. 24 A'R [s] Arglwydd a attebodd Iob o'r corwynt,
28 ac a ddywedodd,
2 Gwregysa yn awr dy lwynau fel gŵr: a
myfi a ofynnaf i ti, mynega dithe i mi.
3 A wnei di fy marn i ynofer? a fwri di fi yn
ang-hyfiawn i'th gyfiawnhau di?
4 [t] Neu a oes i ti fraich fel i Dduw? neu a t Gen.32
wnei di daranau a'th lais fel yntef? 10
5 [u] Ymdrwssia yn awr â gorochafiaeth, ac â Ezra 9,6 Sal. 51,4
goruchelder: ac ymwisc â gogoniant ac â phryd- Pen 29,9 uGen.38
ferthwch. 26
6 Tywallt gynddaredd dy ddigofaint: ac ed- 1Pedr 4, 2,3,
rych ar bob balch, a thafl ef i lawr.
7 Edrych ar bob balch a gostwng ef: a dryllia
y rhai annuwiol yn eu lle.
8 [v] Cuddia hwynt yng-hyd yn y pridd: rhwym vRhuf.8,
eu hwynebau hwy mewn [lle] cuddiedic. 4
9 [w] Yna hefyd myfi a gyfaddefaf i ti, mai dy
ddeheu-law dy hun a'th achub. w Ex. 1, 16
10 [x] Yn awr wele'r Eliphant yr hwn a wneuth- Deut. 33 24
um gyd a thi: gwair a fwytta efe fel ych. Sal. 29,4 5
11 [y] Wele yn awr ei gryfder ef [sydd] yn ei xSal. 93, 1
lwynau: ei nerth ym mogel ei fol. y Pen. 12
12 [z] Efe a gyfyd ei gynffon fel cedr-wydden: 30 Dan. 4,
gewynnau ei arennau ef sy blethiedic. 37
13 [a] Pibellion o ddûr [ydyw] ei escyrn ef: ei zDat. 19 19
escyrn [ydynt] fel ffyn heirn. Mat. 11, 23
14 [b] Pennaf o ffyrdd Duw [ydyw] efe: yr hwn Mal. 4,1
ai gwnaeth ef a osododd [wrtho ef] ei gleddyf. aEster 7 8
15 [c] Y mynyddoedd yn ddiau a ddygant las- Ioan 11, 44
wellt iddo ef: ac yno y chwery holl anifeiliaid bEx.15,1 Sal 89,13
y maes. c Gen. 1, 1,4
16 [d] Efe a orwedd dann goedydd cyscod-fawr: dEph. 6,
mewn lloches o gorsennau a sigleunydd. 14 Diar. 24
17 Coedydd cyscod-fawr ai gorchguddiant ef 17
yn gyscod iddo: helyg yr afon ai hamgylch-
ant ef.
18 Wele efe a orthymma afon [fel] na phrys-
suro hi i [redeg:] efe a obeithie y rhuthre Ior-
ddonen i'w safn ef.
19 [e] [Yr heliwr] ai deil ef o flaen ei lygaid: eSal. 104
[ac] a dylla ei drwyn [ef] â bachau? 26
20 [f] A dynni di y Lefiathan allan â bâch? neu fSal. 104
a rwymi di ei dafod ef â rhaff? 14
21 A osodi di fâch yn ei drwyn ef? neu a dylli
di ascwrn ei ên ef â mynawyd.
22 [g] A fawr ymbil efe â thi? a ddywed efe gSal. 1,3
wrthit ti yn deg?
23 [h] A wna efe ammod â thi? a gymmeri di hGen. 14
ef yn was tragywyddol? 10
24 [i] A chwarei di ag ef fel ag aderyn? neu a iSal. 107
rwymi di ef i'th langcesau? 26
25 A swpera cyfeillion arno ef? a gyfrannant
hwy ef rhwng marsiandi-wyr?
26 A lenwi di fasced ai groen ef? neu gawell
pyscod ai benn ef?
27 Gosot dy law arno ef: cofia y rhyfel, [ac] na
wna di mwy.
28 Wele ofer ydyw ei obaith ef [oi ddal:] oni
leddid [un] gan ei olwg ef?

## PEN. XLI.

*Duw yn treuthu chwaneg i Iob am y Lefiathan.*

NID [oes neb morr] hyderus ai godi ef: a
phwy [yw] efe a saif ger fy mron?
2 j Pwy a roddodd i mi yn gyntaf? ac myfi a
dalaf: [beth bynnac sydd] danu yr holl nefoedd
eiddofi [yw] hynny.
3 k Ni thawaf am ei aelodau ef: ac am gryfder
a gweddeidd-dra ei osodiad ef.
4 l Pwy a ddatcuddiodd wyneb ei wisc ef? pwy
a ddaw [atto ef] ai ffrwyn ddau ddyblyg ef?
5 m Pwy a agorodd ddorau ei wyneb ef? dy-
chryn [yw] amgylchoedd ei ddannedd ef.
6 Rhagorol gryfder [ei] emmau [ef] â gaewyd
â sel gyfyng.
7 Y mae'r naill morr agos at y llall, fel na ddelo
gwynt rhyngddynt hwy.
8 n Pob un a lŷn wrth ei gilydd: hwynt a ym-
glasbysant fel na wahanant hwy.
9 Ei disian ef a gynneu yn flagl: ai lygaid ef
[sydd] fel amrantau y borau.
10 o Ffaglau a ânt allan, [a] gwreichion tân-
llyd a ddiangant oi enau ef.
11 p Mwg a ddaw allan oi ffroenau ef: fel [o]
bair, neu grochan berwedic.
12 Ei anadl ef a wna i'r glo losci: a fflam a
ddaw allan oi enau ef.
13 Yn ei wddf ef y trig cryfder: a thristwch
a drŷ yn llawenydd oi flaen ef.
14 q Llywethau ei gnawd a lynant yng-hyd:
caledodd ynddo ei hun fel na syflo.
15 r Caled ydyw ei galon ef fel carreg: a chaled
fel y maen issaf i felin.
16 s Rhai cryfion a ofnant ei ardderchawg-
rwydd ef: [ac] a wallgofant rhag ei derfysc ef.
17 Ni syfl efe [rhac] y cleddyf a gyffyrddo ag
ef, y waiw-ffon, y biccell, na'r llurig.
18 Efe a gyfrif haiarn fel man-ûs: [a] dûr fel
prenn pwdr.
19 t Ni phar saeth iddo ffoi: cerrig tafl a droed
iddo ef yn soft.
20 Bwa croes a gyfrifir fel soflun, ac efe a
chwardd wrth escwyd glaif.
21 Tano ef [y bydd] megis darniau llymmion
o lestr pridd: efe a dana bethau llymmion ar
hyd y clai.
22 u Efe a wna i'r dyfnder ferwi fel crochan:
efe a esyd y môr fel morter apothecari.
23 Efe a wna lwybr golau ar ei ol: [fel] y te-
bygid [fod] y dyfnder yn frig-wynn.
24 Nid [oes] ar y ddaiar gyffelyb iddo ef: yr
hwn a wnaethpwyd heb ddychryn.
25 Efe a genfydd bob peth uchel: brenin
[ydyw] efe ar holl feibion balchder.

## PEN. XLII.

*Iob yn edifarhau, 9 Ac yn gweddio tros ei gyfeillion, 12 Ac yn cael adref ddau cymmaint o dda, a phlant hefyd.*

AC Iob a attebodd yr Arglwydd ac a ddyw-
edodd,
2 v Myfi a wn y gelli di bob peth: ac na chu-
ddir [un] meddwl oddi wrthit.
3 w Pwy [ydyw]'r hwn sydd yn cuddio [ei]
gyfrinach fel nas gwyddir? am hynny y lleferais
yr hyn nis deallais, [sef pethau] rhy ryfedd i mi
y rhai ni's gwyddwn.
4 Gwrando attolwg, ac myfi a lefaraf; gofyn-
naf i ti, dysc dithe finne.
5 Myfi a glywswn son am danat: ac yn awr
fy llygaid a'th welodd di.
6 x Am hynny y bydd ffiaidd gennif fi [fy hun,]
ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch, a lludw.
7 y Ac wedi dywedyd o'r Arglwydd y geiriau
hynny wrth Iob: yr Arglwydd a ddywedodd
wrth Eliphaz y Themaniad, Fy nigofaint a gyn-
neuodd yn dy erbyn di, ac yn erbyn dy ddau
gyfaill, am na ddywedasoch am danafi yn in-
iawn fel fyng-wasanaeth-wr Iob.
8 z Ond yn awr cymmerwch i chwi saith o
fustych, a saith o fahyrnnod, ac ewch at fyng-
wasanaethwr Iob: ac offrymmwch boeth aberth
trosoch chwi, a gweddied fyng-wasanaeth-wr
Iob trosoch: canys mi a dderbyniaf ei wyneb
ef, fel na wnelwyf i chwi [yn ol eich] ffolineb, am
na ddywedasoch yr iniawn am danafi, fel fyng-
wasanaeth-wr Iob.
9 Felly Eliphaz y Themaniad, a Bildad y
Suhiad, Sophar y Naamathiad a aethant, ac a
wnaethant fel y dywedase'r Arglwydd wrthynt
hwy: a'r Arglwydd a dderbyniodd wyneb
Iob.
10 a Yna'r Arglwydd a ddychwelodd gaethiw-
ed Iob, pan weddiodd efe tros ei gyfeillion: a'r
Arglwydd a chwanegodd yr hyn oll [a fuase]
gan Iob yn ddau-ddyblyg.
11 b Ei holl geraint ef hefyd, ai holl garesau, a
phawb oi gydnabod ef o'r blaen a ddaethant atto
ef, ac a fwyttasant fwyd gyd ag ef yn ei dŷ, ac
a gyd-ofidiasant ag ef, ac ai cyssurasant ef am
bob drwg a ddygase'r Arglwydd arno ef: a hwy
a roddasant iddo ef bob un, un darn o arian, a
phob un, tlws o aur.
12 c A'r Arglwydd a fendithiodd ddiwedd Iob
yn fwy na'i ddechreuad ef: canys yr oedd gan-
ddo ef bedair mil ar ddêc o ddefaid, a chwe mil
o gamelod, a mil o gyplau o ŷchen, a mil o as-
synnod.
13 Ac yr oedd iddo ef saith o feibion, a thair
o ferched.
14 Ac efe a alwodd henw y gyntaf Iemima,

Marginal references: j Rhuf. 11, 35. Sal. 27, 1; 37, 39. k Pen. 39. l Pen. 38, 9. m Pen. 1, 19. n Esa. 14. o Pen. 38. p Esa. 34. q Pedr. s Pen. 14. y Esa. 40. v Gen. 18, 14. Sal. 139, 1. w 1 Tim. 1, 7. Sal. 131, 1. Esa. 55, 8. x Esa. 56, 5. y Esa. 40, 1, 2. Preg. 12, 10. 2 Sam. 21, 12. a 7, 5. Eph. 4, 27. z Num. 23, 1. Iago 5, 15. Ezec. 14, 14. Gen. 20, 17. a Diar. 22, 4. b Diar. 14, 20. Sal. 69, 35. Pen 19, 13 a 30, 1. c Pen. 1, 3 a 8, 7. Iago 5, 12. Sal. 119, 71. 1 Tim. 6, 17. Mat. 19, 29.

Pen. XLII, adn. 3.] "Llafarais yr hyn ni ddyallais." Pe dyallem feddwl Duw ni rwgnachem. Gwell yw cystudd â bendith, na hu icchyd heb ras!

a henw yr ail Cezia, a henw y drydedd Ceren-
haphuc.
15 Ac ni cheid gwragedd morr lân a merched
Iob yn yr holl wlad honno: ai tad a roddes idd-
ynt hwy etifeddiaeth ym mhlith ei brodyr.
16 [d] Ac Iob a fu fyw wedi hyn gant a deugain
o flynyddoedd: ac a welodd o'i feibion, a meib
ion ei feibion bedair cenhedlaeth.
17 [e] Ac Iob a fu farw yn hen, ac yn gyflawn
o ddyddiau.

TERFYN LLYFR IOB.

# PSALMAU DAFYDD.

## PSALM I.

Boreuol weddi.

aSal.28,4. Diar. 4, 14 — GWYN [a] ei fyd y gŵr ni rodiodd yng-hyng-
or yr annuwiolion, ac ni safodd yn ffordd
pchaduriaid, ac nid eisteddodd yn eisteddfa
gwatwar-wyr:
bSal. 119 35, 47 — 2 [b] Onid [bod] ei ewyllys ef yng-hyfraith yr
Arglwydd: a mefyrio o honaw yn ei gyfraith
ef ddydd a nos.
cIer. 17, 8 Preg. 3, 11 — 3 [c] Canys efe a fydd fel prenn wedi ei blan-
nu ar lann dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth
yn ei bryd: ai ddalen ni wywa, a pha beth byn-
nac a wnel, efe a lwydda.
d Esa. 3, 10 Sal. 15, 4 — 4 [d] Nid felly [y bydd] yr annuwiol, onid fel
mân us yr hwn a chwâl y gwynt ymmaith [oddi
ar wyneb y ddaiar.]
eLuc 21, 28 Dat. 6,16 17 — 5 [e] Am hynny yr annuwiolion ni safant yn y
farn, nâ'r pechaduriaid yng-hynnulleidfa y rhai
cyfiawn.
fIoan 10, 14 Diar, 11, 7 — 6 [f] Canys yr Arglwydd a edwyn ffordd y rhai
cyfiawn, a ffordd yr annuwiolion a ddifethir.

## PSALM II.

a Act. 4, 25 Esa 8, 9, 10 — PAHAM [a] y terfysca y cenhedloedd? ac y
bwriada y bobloedd yn ofer?
gDat.17, 14 Ioan 1,41 — 2 [g] Y mae brenhinoedd y ddaiar yn codi i fynu,
a'r pennaethiaid yn ymgynghori yng-hyd, yn
erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef.
hLuc 19, 14 — 3 [h] Drylliwn eu rhwymau hwy: a thaflwn eu
rheffynnau oddi wrthym.
iSal. 9, 7 — 4 [i] Yr hwn sydd yn presswylio yn y nefoedd
a chwardd: yr Arglwydd ai gwatwar hwynt.
jDat.6,15 — 5 [j] Yna y llefara efe wrthynt yn ei lid, ac yn ei
ddigllonrwydd y dychryna efe hwynt.
kDan. 7, 14 1 Tim. 6, 15 lPhil.2,9 — 6 [k] Minne a osodais fy Mrenin ar Sïon fy my-
nydd sanctaidd.
7 [l] Mynegaf y ddeddf [yr hon] a ddywedodd
yr Arglwydd wrthif: Fy Mab [ydwyt] ti, myfi
heddyw a'th genhedlais.
mSal.72, 8, 15 — 8 [m] Gofyn i mi, a rhoddaf y cenhedloedd yn etif-
eddiaeth i ti: a therfynau y ddaiar i'th feddiant.
9 [n] Briwi hwynt â gwialen haiarn, maluri
hwynt fel llestr pridd.
10 [o] Gan hynny'r awr hon O frenhinoedd by-
ddwch synhwyrol: barn-wyr y ddaiar cym-
merwch ddysc,
11 [p] Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn ofn:
ac ymlawenhewch mewn dychryn.
12 [q] Cussenwch y Mab rhag iddo ddigio, a'ch
difetha chwi o'r ffordd, pan gynneuo ei lid ef
ddim: gwyn eu byd pawb a ymddyriedant yn-
ddo ef.

## PSALM III.

*Psalm Dafydd, pan ffodd efe rhag Absalom ei fab.*

ARGLWYDD [r] mor aml yw fy nhrallod-
wyr, llawer sy'n codi i'm herbyn.
2 [s] Llawer sy'n dywedyd am fy enaid, Nid [oes]
iechydwriaeth iddo yn [ei] Dduw. Selah.
3 [t] Tithe Arglwydd [ydwyt] darian i mi: fyng-
ogoniant, a derchafudd fy mhenn.
4 [u] A'm llef y gelwais ar yr Arglwydd, ac efe
a'm clybu oi fynydd sanctaidd. Selah.
5 [v] Mi a orweddais, ac a gyscais, [ac] a dde-
ffroais: canys yr Arglwydd a'm cynhaliodd.
6 [w] Nid ofnaf fyrddiwn [o] bobl: y rhai o am-
gylch a ymosodasant i'm herbyn.
7 [x] Cyfod Arglwydd, achub fi fy Nuw, canys
tarewaist fy holl elynnion [ar] garr yr ên: tor-
raist ddannedd yr annuwolion.
8 [y] Iechydwriaeth [sydd] eiddo'r Arglwydd:
dy fendith [sydd] ar dy bobl. Selah.

## PSALM IV.

*At y pen cerdd ar y Neginoth, psalm Dafydd.*

GWRANDO [a] fi pan alwyf O Dduw fyng-
hyfiawnder, mewn cyfyngder yr ehengaist
arnaf: trugarha wrthif, ac erglyw fyng-weddi.
2 [a] O feibion dynnion pa hyd [y troiwch] fyng-
ogoniant yn warth? yr hoffwch wegi, ac yr
argeisiwch gelwydd? Selah.
3 [b] Gwybyddwch hefyd i'r Arglwydd ethol y
duwiol iddo ei hun: yr Arglwydd a wrendu

pan alwyf arno.
c Eph. 4. 26 4 c Ofnwch, ac na phechwch, meddyliwch yn
2 Cor. 13, 5 eich calon ar eich gwely, a thewch. Selah.
Galar. 3, 26 5 d Aberthwch ebyrth cyfiawnder, a gobeith-
d Mal. 1, 11 iwch yn yr Arglwydd.
Iago 1, 17 6 e Llaweroedd sy'n dywedyd, Pwy a ddengys
e Sal. 17, 15 i ni ddaioni? Arglwydd dercha arnom lewyrch
Luc 2, 32 dy wyneb.
f 1 Pedr 1, 8 7 f Rhoddaist lawenydd yn fyng-halon, er pan
Esa. 9, 3 yr amlhaodd eu hŷd, ai gwin [ai holew] hwynt.
g Esa. 33, 24 8 g Mewn heddwch hefyd y gorweddaf, ac yr
1 Pedr 1, 5 hunaf: canys ti Arglwydd yn unic a'm cyfleaist
mewn diogelwch.

## PSALM V.

*At y pen-cerdd ar y Nehiloth, psalm Dafydd.*

GWRANDO fyng-eiriau Arglwydd: deall
fy myfyrdod.
2 Erglyw ar lef fyng-waedd, fy Mrenin, a'm
Duw: canys arnat y gweddiaf.
Sal. 90, 3 3 h Yn forau Arglwydd y clywi fy llef: yn
Job 33, 5 foreu y cyfeiriaf attat, ac y disgwiliaf.
Sal. 85, 8 Hab. 1, 3 4 i O herwydd nad [wyt] ti Dduw'n ewyllysio
Sal. 94, 20 anwiredd: y drwg ni thrig gyd â thi.
Esa. 44, 16 5 j Ynfydion ni safant yn dy olwg: caseaist holl
weithred-wyr anwiredd.
Dat. 21, 8 6 k Difethi y rhai a ddywedant gelwydd: yr
Arglwydd a ffieiddia y gŵr gwaedlyd, a'r twyll-
odrus.
Sal. 140, 3 7 l A minne a ddeuaf i'th dŷ di yn amlder dy
drugaredd: ac a addolaf tu a'th Deml sanctaidd
yn dy ofn di.
Sal. 25, 5 8 m Arglwydd arwain fi yn dy gyfiawnder o
Sam. 12, 8 achos fyng elynnion: a gwastadhâ dy ffordd
o'm blaen.
Sal. 12, 1 Thes. 3, 3 9 n Canys nid [oes] iniondeb yn eu genau, eu
ceudod [sydd] lwgredigaeth, bedd agored [yw]
eu gwddf hwynt, gweniaithiant ai tafod.
1 Bren. 2, 36 10 o Destruwia hwynt O Dduw, syrthiant oddi
wrth eu cynghorion, gyrr ymmaith hwynt yn
amlder eu camweddau: canys gwrthryfelasant
i'th erbyn di.
Esa. 65 11 p A llawenhaed y rhai oll a ymddyriedant
Esa. 4, 4 ynot, yn dragywydd y canmolant, am i ti orch-
guddio trostynt hwy: a'r rhai a garant dy enw,
a orfoleddant ynot.
Zec. 2, 5 12 q Canys ti Arglwydd a fendithi y cyfiawn:
â charedigrwydd megis tarian y coroni di ef.

## PSALM VI.

Pryd. awnol reddi. *At ben-cerdd y Neginothar gyffurf yr wyth-dant, psalm Dafydd.*

Heb. 12 ARGLWYDD r na cherydda fi yn dy lid-
iawgrwydd, ac na chospa fi yn dy lid.
Sal. 41, 4. Hos. 6, 1 2 s Trugarha wrthif Arglwydd, canys llesc
ydwyfi: iacha fi O Arglwydd, canys fy escyrn
a gystuddiwyd.
t Sal. 90, 13 3 t A'm henaid a ddychrynwyd yn ddirfawr:
tithe Arglwydd pa hyd [i'm cystuddi?]

4 u Dychwel Arglwydd, gwaret fy enaid: iacha u Sal. 116, 8
fi er mwyn dy drugaredd.
5 v Canys yn angau nid [oes] goffa am dannat: v Esa. 38, 18
yn y bêdd pwy a'th fawl? Sal. 30, 9
6 w Deffygiais gan fy ochain, pob nos yr ydwyf a 88, 11 w Can. 3, 1
yn gwneuthur fyng-wely yn foddfa: yr ydwyfi'n
gwlychu fyng-orweddfa a'm dagrau.
7 x Tywyllodd fy llygad gan ddigter: hen- x Iob 17, 7
eiddiodd o herwydd fy holl elynnion.
8 y Ciliwch oddi wrthyf holl weithred-wyr y Sal. 119, 115
anwiredd: canys yr Arglwydd a glywodd lef Dan. 9, 21
fy wylofain. 23
9 Clybu'r Arglwydd fy neisyfiad: yr Arglwydd
a dderbyn fyng-weddi.
10 z Fy holl elynion a wradwyddir, ac a dra- z Iob 6, 20
llodir yn ddirfawr: dychwelir, [a] chywilyddir Sal. 56, 9
hwynt yn ddisymmwth.

## PSALM VII.

*Sigaion Dafydd, yr hwn a ganodd efe i'r Arglwydd, oblegit geiriau Chus fab Iemini.*

ARGLWYDD a fy Nuw, ynot yr ymddir- a 1 Pedr 4, 19
iedais: achub fi rhag fy holl erlid-wyr, a
gwaret fi.
2 b Rhag iddo larpio fy enaid fel llew: gan b Deut. 32, 36
[ei] rwygo, pryd na [byddo] gwaredudd.
3 c Fy Arglwydd Dduw os gwneuthum hynn, c Act. 23, 1
od oes anwiredd yn fy nwylaw:
4 d O thelais ddrwg i'r neb oedd heddychol â d Sal. 41, 9
mi: oni waredais y rhai a'm gwrthwynebent 1 Sam. 24, 7
heb achos:
5 e Erlidied y gelyn fy enaid, a goddiwedded a 26, 10, 17 e Hos. 9, 11
[fi:] sathred hefyd fy mywyd i'r llawr, a gosoded Iob 19, 9
fyng-ogoniant i drigo yn y llwch. Selah.
6 f Cyfot Arglwydd yn dy ddigllonedd, ym- f Esa. 68, 15
ddercha o herwydd llid fyng-elynnion: deffro 2 Sam. 6, 21
hefyd drosof [yn] y farn a orchymynnaist.
7 g Felly cynnulleidfa y bobloedd a'th amgylch- g Dat 4, 4
ynant: er eu mwyn dychwel dithe i'r uchelder. Sal. 93, 4
8 h Yr Arglwydd a farn y bobloedd: barna di h Sal. 43, 1
fi O Arglwydd yn ol fyng-hyfiawnder, ac yn ol a 18, 20
fy mherffeithrwydd [sydd] ynof. a 35, 24.
9 i Darfydded weithian anwiredd yr annuw- i Sal 139, 13
olion, eithr cyfarwydda di y cyfiawn: canys y
Duw cyfiawn a chwilia y calonnau, a'r arennau.
10 j Fy amddeffyn [sydd] yn Nuw, iachawdur j Diar 11, 20
y rhai iniawn o galon.
11 k Duw sydd farnudd cyfiawn, a Duw sydd k Sal. 50, 21
ddigllon beunydd [wrth yr annuwiol.]
12 l Oni ddychwel [yr annuwiol,] efe a hoga ei l Deut. 32, 41
gleddyf, efe a annelodd ei fŵa, ac ai paratôdd.
13 Paratôdd efe hefyd iddo arfau angheuol, efe
a weithiodd ei saethau yn erbyn yr erlid-wyr.
14 m Wele efe a ymddwg anwiredd, canys m Iob 15, 35
beichiogodd ar gamwedd, ac efe a escor ar
gelwydd.
15 n Cloddiodd bwll, trychodd ef, syrthiodd n Est. 7, 10
hefyd yn y destruw a wnaethe efe. Diar 5, 22 a 26, 27

o Est. 9, 25 16 o Ei anwiredd a ymchwel ar ei ben ef ei
hun: ai gamwedd a ddescyn ar ei goppa ei hun.
p Dat. 19, 1, 2 17 p Clodforaf yr Arglwydd yn ol ei gyfiawn-
der: a chan-molaf enw'r Arglwydd goruchaf.

## PSALM VIII.

*At y pen-cerdd ar y Gittith: Psalm Dafydd.*

q Phil. 2, 9 ARGLWYDD q ein Iôr ni, mor ardderchog
Dat. 11, 8 a 18, 1 [yw] dy enw yn yr holl fyd: yr hwn a
Eph. 4, 10 roddaist dy ogoniant uwch y nefoedd.
* Mat. 11, 25 a 21, 16 2 O * enau bechgyn, a rhai yn sugno y peraist
Dat. 19, 20 nerth o achos dy elynnion: i ostegu y gelyn, a'r
ymddialudd.
r Sal. 111, 2, 3 3 r Pan edrychaf ar y nefoedd gwaith dy fy-
sedd, [sef] y lloer a'r sêr y rhai a ordeiniaist,
s Heb. 2, 6 4 s Pa beth [yw] dyn i ti iw goffau? a mab dyn
i ti i ymweled ag ef?
t Eph. 1, 20 5 t Gwnaethost ef ychydig is na'r angelion:
Mat. 21, 18 coronaist ef hefyd â gogoniant, ac â phryd-
Heb. 1, 2 ferthwch.
1 Cor. 15, 27 6 Gwnaethost ef i arglwyddiaethu ar weith-
Heb. 2, 9 redoedd dy ddwylo: gosodaist bob peth dann
ei draed ef.
7 Defaid, ac ychen oll, ac anifeilaid y maes
hefyd:
8 Ehediaid y nefoedd, a physc y môr: y rhai
a ydynt yn trammwyo llwybrau y moroedd.
9 Arglwydd ein Iôr mor ardderchog [yw] dy
enw yn yr holl fyd.

Boreuol weddi.

## PSALM IX.

*At y pen-cerdd wrth farwolaeth Labben. Psalm Dafydd.*

u Dat. 19, 1, 2 a 15, 3 CLODFORAF u yr Arglwydd a'm holl
galon: mynegaf dy holl ryfeddodau.
v Phil. 4, 4 2 v Llawenychaf, a gorfoleddaf ynot: canaf
1 Tim. 1, 17 i'th enw di, y Goruchaf.
w 2 Thes. 2, 8 3 w Tra y dychwelid fyng-elynnion yn eu hol,
y llithrant, ac y difethir hwynt o'th flaen di.
x Luc 18, 7, 8 4 x Canys gwnaethost fy marn a'm matter yn
dda: eisteddaist ar orsedd-faingc, O farnudd
cyfiawn.
y Sal. 68, 30 5 y Ceryddaist y cenhedloedd, destrywiaist yr
Diar. 10, 7 annuwiol: eu henw hwynt a ddeleäist hefyd
byth bythol.
z 2 Thes. 2, 4 6 z Hâ elyn, darfu am ddinistr yn dragywydd,
Dat. 18, 6 a 19, 20 diwreiddiaist y dinasoedd, darfu eu coffadwr-
iaeth [gyd â] hwynt.
a Heb. 13 7 a Yr Arglwydd a erys yn dragywydd: efe a
Luc 1, 31, 32 baratodd ei orsedd-faingc i farn.
b Sal. 96, 13 8 b Canys efe a farn y byd mewn cyfiawnder:
efe a farn y bobloedd mewn iniondeb.
c Esa. 4, 6 9 c Yr Arglwydd hefyd fydd amddeffyn i'r
Heb. 4, 16 truan, [a] nawddfa mewn pryd, [sef] mewn
d Sal. 91, 13 cyfyngder.
2 Tim. 1, 12 10 d A'r rhai a adwaenent dy enw a ymddyr-
2 Cor. 1, 10 iedant ynot: canys ni adewaist O Arglwydd y
e Dat. 14, 1 rhai a'th geisient.
Ier. 50, 28 11 e Can-molwch yr Arglwydd yr hwn sydd
yn presswylio yn Sïon: a mynegwch i'r bobl-
oedd ei weithredoedd ef.
12 f Canys pan ymofynno efe am waed, y cofia f Dat. 16, 6
efe am danynt: ac nid anghofia waedd y tlodion.
13 g Trugarha wrthif Arglwydd, fy nerchaf- g Galar. 3, 11
udd o byrth angau: gwel fy mlinder gan fyng- 2 Cor. 1, 10
haseion.
14 h Fel y mynegwyf dy holl foliant ym h Gal. 4, 26
mhyrth merch Sïon: [ac] y llawenychwyf yn dy
iechydwriaeth.
15 i Y cenhedloedd a soddasant yn y ffos yr i Dat. 14, 8
hon a wnaethant: yn y rhwyd a guddiasant, y
daliwyd eu troed hwynt.
16 j Adwaenir yr Arglwydd, [canys] efe a j Dat. 11, 13
wnaeth farn: yr annuwiol a faglwyd yng-weith- † Myfyrdod.
redoedd ei ddwylo. † Higaion. Selah. Esa. 53, 18
17 Y rhai drygionus a ymchwelant i uffern: [sef]
yr holl genhedloedd a anghofiant Dduw.
18 k Canys nid anghofir y tlawd byth, gobaith k Sal. 12, 5
y trueniaid [ni] chollir byth. Dat. 11, 7
19 Cyfod Arglwydd, na orfydded dyn: barner
y cenhedloedd ger dy fron di.
20 l Gosod Arglwydd ofn arnynt, gwybydded l Dat. 6, 16
y cenhedloedd [mai] dynnion ydynt hwy. Selah.

## PSALM X.

PAHAM m Arglwydd y sefi o bell, yr ym- m Esa. 6, 17
guddi yn yr amseroedd [pan ydym] mewn
cyfyngder?
2 n Yr annuwiol mewn balchder a erlid y n Esa. 10, 12, 13
tlawd: dalier hwynt yn y dichellion a ddych- Deut. 32, 27
ymmygasant. Diar. 5, 22
3 o Canys yr annuwiol a ffrostiodd wrth ew- o Esa. 10, 8
yllys ei galon: a'r cybydd a ymfendithiodd:
diystyru y mae efe yr Arglwydd.
4 p Yr annuwiol gan ei falchder ni chais p Sal. 14, 1
[Dduw:] nid [ydyw] Duw [yn] ei holl feddyl-
iau ef.
5 q Ei ffyrdd ef ydynt flin bob amser, uchel q Esa. 26, 11
[yw] dy farnedigaethau oi olwg ef: efe a chwyth Diar. 29, 8
yn erbyn ei holl elynnion.
6 r Dywedodd yn ei galon ni'm symmudir, o r Dat. 18, 7
herwydd ni [byddaf] mewn dryg-fyd hyd gen- 1 Thes. 5, 2, 3
hedlaeth, a chenhedlaeth.
7 s Ei enau sydd yn llawn melldith, a dichell, s Iob 20, 13
a thwyll: tann ei dafod y mae camwedd, ac
anwiredd.
8 t Y mae efe yn eistedd yng-hynllwynfa yr t Iob 38, 40
heolydd, mewn cilfacheu y lladd efe y gwirion:
ei lygaid a dremmiant ar y tlawd.
9 u Efe a gynllwyna mewn dirgelwch megis u Mica 7, 2
llew yn ei ffau, bwriadu y bydd i dreisio yr
tlawd: treisia efe y tlawd gan ei dynnu i'w rwyd.
10 v Efe a ymgystuddia, ac a ymostwng: fel y v Sal. 17, 11
cwympo tyrfa trueniaid ym mysc ei gedyrn ef. w Ezec. 8, 12 a 9, 9
11 w Dywedodd yn ei galon, Anghofiodd Duw: Sal. 94, 7

guddiodd ei wyneb, ni wêl efe byth.
x Mica 5, 9 12 [x] Cyfod Arglwydd Dduw, dercha dy law;
Deut.32, 40 nac anghofia y tlodion.
y Sal.74, 10 13 [y] Pa ham y cabla'r annuwol Dduw? gan
ddywedyd yn ei galon, nad ymofynni.
z 1Tim.1, 12 14 [z] Gwelaist [hyn,] canys ti a genfyddi anwir-
1Pedr 4, 19 edd, a cham, i roddi [tâl] a'th ddwylo dy hun:
Hos.14,3 arnat ti y gedu y tlawd [ei obaith,] ti ydwyt gyn-
northwy-wr yr ymddifad.
a Sal.37, 17 15 [a] Torrfraich yr annuwiol, a'r drygionus: cais
ei ddrygioni ef, [ac] nis cei.
b Luc 1,31 16 [b] Yr arglwydd [sydd] Frenin byth, ac yn
dragywydd: dinistriwyd y cenhedloedd oi dir ef.
c Rhuf.8, 26 17 [c] Arglwydd clywaist ddymuniad y tlodion,
Esa. 65, 24 cyweiria di eu calon hwynt, gwrandawed dy
glust [arnynt.]
Dan. 9, 20 18 [d] I farnu yr ymddifad a'r tlawd: fel na
d 2Thes. 2, 3 chwanego dŷn daiarol beri ofn mwyach.
Dat. 13, 11

## PSALM XI.

*At y pen-cerdd Psalm Dafydd.*

e Rhuf.4, 18 YN [e] yr Arglwydd yr ydwyf yn ymddyried,
1Sam. 21, 11 pa fodd y dywedwch wrth fy enaid, Eheda
a 22, 1 i'ch mynydd [fel] aderyn?
f Sal.64,3 2 [f] Canys wele y drygionus a anelâsant fŵa,
paratoasant eu saethau ta a'r llinin, i saethu
mewn dirgelwch y rhai iniawn o galon.
g Sal.75, 3 3 [g] Canys y seiliau a ddinistriwyd: pa beth a
wnaeth y cyfiawn?
h Sal.7,9 4 [h] Yr Arglwydd [sydd] yn Nheml ei sanct-
eiddrwydd, gorseddfa yr Arglwydd [sydd] yn y
nefoedd, y mae ei lygaid ef yn gweled [y tlawd:]
ei amrantau yn chwilio meibion dynion.
i Lef.20, 11 5 [i] Yr Arglwydd a brawf y cyfiawn; eithr câs
gan ei enaid ef y drygionus, a'r hwn sydd hoff
ganddo anwiredd.
j Esa.8,14 Sal. 75,8 6 [j] Ar yr annuwolion y glawia efe faglau, tân,
a brwmstan, a gwynt ystormus [fydd] rhan eu
phiol hwy.
k Sal. 45, 7 7 [k] Canys yr Arglwydd cyfiawn a gâr gyfiawn-
a 146, 8 der: ai wyneb a genfydd y rhai iniawn.

## PSALM XII.

Pryd-hawnol Weddi.

*At y pen cerdd ar yr wyth dant. Psalm Dafydd,*

l Gen. 6, 12 ACHUB [l] Arglwydd, canys darfu [y rhai] tru-
Mica 7,2 garog: o herwydd pallodd y ffyddloniaid
Sal.4, 2 o blith meibion dynion.
m Ier. 9,4 2 [m] Oferedd a ddywedant bôb un wrth ei gym-
Rhuf.16, 18 mydog, â gwefus wenhieithgar: [ac] â chalon
ddau ddyblyg y llefarant.
n Dan.7, 25 3 [n] Torred yr Arglwydd yr holl wefusau gwen-
hieithus, [a'r] tafod a ddywedo fawrhydry.
o Ex.15,9 4 [o] Y rhai a ddywedant, A'n tafod y gorfydd-
Esa. 37, 10 wn: nyni a allwn ddywedyd a fynnom, pwy
Ex. 5, 2 [sydd] Arglwydd arnom ni?
p Esa.33, 10 5 [p] O herwydd anrhaith y rhai cystuddiedic
[ac] o herwydd uchenaid y tlodion, y cyfodaf
yn awr medd yr Arglwydd: rhoddaf mewn

iechydwriaeth [yr hwn] y magler iddo.
6 [q] Geiriau yr Arglwydd [ydynt] eiriau purion, q Sal.19,8
[fel] arian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd,
wedi ei buro seith-waith.
7 Ti Arglwydd ai cedwi hwynt: cedwi hwynt
rhag y genhedlaeth hon yn dragywydd.
8 [r] Yr annuwolion a rodiant o amgylch: pan
[eu] derchefir, gwarth [fydd] i feibion dynion. r Dat. 17, 1, 2, 3

## PSALM XIII.

*At y pen-cerdd, Psalm Dafydd.*

PA [s] hyd Arglwydd i'm anghofi? [ai] yn dra- s Sal. 88, 14
gywydd? pa hyd y cuddi dy wyneb rhagof: Esa. 59,2
2 [s] Pa hŷd y gosodaf gynghorion yn fy meddwl
[a] blinder beunydd yn fyng-halon? pa hyd y s 1 Sam. 27, 1
derchefir fyng-elyn arnaf?
3 [t] Edrych, [a] chlyw fi O Arglwydd fy Nuw; t Eph. 1, 18
goleua fy llygaid rhag i'm huno [yn] yr angeu.
4 [u] Rhag dywedyd o'm gelyn, Gorchfygais ef; u Sal. 141, 8
[canys] fyng-wrthwyneb-wyr a lawenychant os
llithraf.
5 [v] Minne hefyd a ymddiriedais yn dy dru-
garedd di, fyng-halon a ymlawenycha yn dy v 2Cron. 20, 12
iechydwriaeth; canaf i'r Arglwydd am iddo syn- 1Sam.17, 37
nio arnaf [ie mi a ganaf i'r Arglwydd goruchaf.] 2 Tim. 4, 17, 18

## PSALM XIV.

*At y pen-cerdd, Psalm Dafydd*

YR [w] ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid w Mat.12, 34 a 15,19
[oes un] Duw; ymlygrasant, [a] ffieidd-
waith a wnaethant: nid oes a wnel ddaioni.
2 [x] Yr Arglwydd a edrychodd o'r nefoedd ar x Sal. 33, 13
feibion dynnion, i weled a [oedd neb] deallgar Ioan 4,23
yn ymgeisio â Duw.
3 [y] Ciliodd pawb, cyd-ymddifwynasant, nid oes
a wnel ddaioni, nac oes un. y Rhuf.3, 12
4 *Bedd agored yw eu gwddf, ai tafodau* Gen.1,31
*y siomment: gwenwyn lindys y sydd dann eu*
*gwefusau.*
5 *Eu genau sydd yn llawn o felldith, a chwerw-*
*edd: eu traed sy fuan i dywallt gwaed.*
6 *Destruw, ac anhap sydd ar eu ffyrdd, a*
*ffordd tangneddyf nid adnabuant: nid oes ofn*
*Duw yn eu golwg.*
7 [z] Oni ŵyr holl weithred-wyr anwiredd [eu z Rhuf.1, 20
bod] yn bwytta fy mhobl [fel] y bwyttaent fara? a 2, 15
ni alwasant ar yr Arglwydd.
8 [a] Yno y dechrynant gan ofn [lle nid oedd
ofn,] am [fod] Duw yng-henedlaeth y cyfiawn. a Sal. 53, 5
9 [b] Cyngor y tlawd a waradwyddech chwi, am b Iob 12,
[fod] yr Arglwydd yn obaith iddo. 14
10 [c] Pwy a ddyry iechyd i Israel o Sion? pan c Sal.110, 2
ddychwel yr Arglwydd gaethiwed ei bobl, yr Ier. 3, 18
hyfryda Iacob, ac y llawenha Israel.

## PSALM XV.

Boreuol Weddi.

*Psalm Dafydd.*

ARGLWYDD [d] pwy a drig yn dy babell: d Sal. 2,6
pwy a bresswylia ym mynydd dy sanct- Dat 14,1

eiddrwydd?
e Zec. 8, 2 [e] Yr hwn a rodia yn berffaith, ac a wnel
16 gyfiawnder, ac a ddywed wir oi galon;
f Lef. 19, 3 [f] Heb absenu ai dafod; heb wneuthur drwg
16 iw gyfell, ac heb dderbyn enllyb yn erbyn ei
gymmydog.
g 2Bren. 4 [g] Yr hwn sydd ddirmygus [a] diystyr yn ei
3, 14 olwg ei hun, ac a anrhydedda y rhai a ofnant yr
Ester 3,2 Arglwydd; yr hwn [os] twng, ([ie] iw niwed
Luc 23,9 [ei hun]) etto ni newidia.
h Tit. 1,16 5 [h] [Yr hwn] ni roddes ei arian ar usuriaeth, ac
2Pedr 1, ni chymmer obr yn erbyn y gwirion; a wnelo
10 hyn ni lithr yn dragywydd.

## PSALM XVI.

*Psalm euroc Dafydd.*

i Act. 2, CADW [i] fi O Dduw, canys ynot yr ymddyr-
25 iedais.
a 13, 35
j Iob22,2 2 [j] Fy enaid, dywedaist wrth yr Arglwydd, Fy
Arglwydd ydwyt ti; fy na nid [yw] ddim i ti.
k Mat. 1, 3 [k] Ar y sainct y rhai ydynt ar y ddaiar, a'r
21 rhai rhagorawl, y mae fy holl ewyllys.
Esa. 62,4
l Ex. 23,13 4 [l] Gofidiau a amlhant [i'r rhai] a fryssiant [ar
ol duw] dieithr; eu diod offrwm o waed ni off-
rymmaf fi; ac ni chymmeraf eu henwau yn
fyng-wefusau.
m Eph. 3 5 [m] Yr Arglwydd [yw] rhann fy etifeddiaeth
18 a'm phiol; ti a gynheli fyng-hoelbren i.
n Act. 26 6 [n] Etifeddiaeth a syrthiodd i mi mewn [lle-
18 oedd] hyfryd; ac [y mae] i mi etifeddiaeth deg.
o Luc 24, 7 [o] Bendithiaf yr Arglwydd yr hwn a'm cyng-
25, 26 horodd; fy arennau hefyd a'm dyscant drwy'r
nos.
p 1Cor. 10 8 [p] Gosodais yr Arglwydd bob amser ger fy
31 mron; canys [y mae] efe ar fy neheu-law fel na
Sal. 110,5 lithraf.
q Eph. 1, 9 [q] O herwydd hynny y llawenychodd fyng-
14 halon, ac yr ymhyfrydodd fyng-ogoniant; fyng-
nhawd hefyd a orphwys mewn gobaith.
r Act. 3, 10 [r] Canys, ni adewi fy enaid yn uffern, ac
14 a 13,36 ni adewi i'th Sanct weled llwgredigaeth.
s Mat 25, 11 [s] Dangosi i mi lwybr bywyd; digonolrwydd
33 llawenydd [sydd] ger dy fron; ar dy ddeheu-
Act. 2,33 law y mae digrifwch yn dragywydd.

## PSALM XVII.

*Gweddi Dafydd.*

t Mat. 15 CLYW [t] Arglwydd gyfiawnder; ystyria fy
8 llefain, gwrando fyng-weddi o wefusau
Hos. 7,14 didwyll.
2 Deued fy marn oddi ger dy fron, edryched
dy lygaid ar iniondeb.
u Sal. 66, 3 [u] Profaist fyng-halon, gofwyaist [fi] y nos,
10 chwiliaist fi, ni chefaist [ynof anwiredd] bwr-
2Cor. 4,4 iedais na throsedde fyng-enau.
Act. 11, 23
Dan. 1,8 4 [v] Tu ag at am weithredoedd dynnion, wrth
v Dat. 17, eiriau dy wefusau yr ymgedwais [o] lwybrau yr
6 speiludd.

5 [w] Cynal fyng-herddediadyn dy lwybrau [fel] w Sal. 119, 5
na lithro fy nhraed. Ier. 10,23
6 [x] Mi a elwais arnat, canys gwrandewi arnafi x Sal. 33,
O Dduw; gostwng dy glust attaf, ac erglyw fy a 116,2
ymadrodd.
7 [y] Dangos dy ryfedd drugarêddau, O achubudd y 1Tim. 4
y rhai a ymddiriedant [ynot,] rhag y sawl a ym- 10
gyfodant yn erbyn dy ddeheu-law.
8 [z] Cadw fi fel canwyll llygad: cudd di fi dann z Zec. 2,8
gyscod dy adenydd, Dat. 17,6
9 Rhag yr annuwolion y rhai a'm gorthrym-
ment; [rhag] fyng-elynion [y rhai] am [yr] enaid
a amgylchant i'm herbyn.
10 [a] Caeâsant gan frasder, ai genau a lefarant a Iob 15
mewn balchder. 27
11 [b] Ein cynniweirfa ni a gylchynâsant hwy yr b 1 Sam.
awr hon, gosodâsant eu llygaid i dynu i'r ddaiar. 23,26 a 24,3
12 [c] Eu dull [sydd] fel llew [yr hwn] a chwen- c Diar.
nyche sclyfaethu, ac megis llew ieuangc yn aros 28, 15
mewn lloches.
13 [d] Cyfot Arglwydd, achub flaen iddo, [a] d Esa. 10
chwympa ef: gwaret fy enaid rhag yr annuwiol 5
[yr hwn yw] dy gleddyf di.
14 [e] Oh Arglwydd [gwaret] fi oddiwrth ddyn-
nion dy law [sef] oddi wrth ddynnion y bŷd, [y e Luc 16, 25
rhai] y mae eu rhann yn y bywyd [ymma,] ac yn Iob 21,7
llenwi eu boliau a'th guddiedic dryssor: llawn Iago 5,5
ydynt o feibion, a gadawant eu gweddill iw
rhai bychain.
15 [f] Myfi a edrychaf ar dy wyneb mewn cy- f 1Ioan 3,
fiawnder; pan ddihunwyf, digonir fi gan dy 2 1Cor. 13
ddelw. 12 2 Cor. 3, 18

## PSALM XVIII.

*At y pen-cerdd, Psalm Dafydd gwas yr Arglwydd, yr hwn a lefarodd wrth yr Arglwydd eiriau y gân hon yn y dydd y gwaredodd yr Arglwydd ef o law ei holl elynion, ac o law Saul: ac efe a ddywedodd,* Pryd-nawnol Weddi.

CARAF [g] di Arglwydd fyng-hadernid. g Sal. 116
2 [h] Yr Arglwydd [yw] fyng-hraig, a'm 1 h Deut.
hamddeffynfa, a'm gwaredudd, fy Nuw fyng- 32,4
hadernid, ynddo ef yr ymddyriedaf; fy nhar- Luc 1,69
ian, a chorn fy iechydwriaeth, a'm noddfa.
3 [i] Galwaf ar yr Arglwydd canmoladwy; felly i Dat. 14
i'm cedwir rhag fyng-elynnion. 11
4 [j] Gofidion angau a'm cylchynâsant; ac a- Sal. 119, 64
fonydd y fall a'm dychrynnâsant i. j Sal. 116, 3
5 [k] Gofidion uffern a'm gogylchynâsant; mag- Dat. 11, 15
lau angeu a achubasant fy mlaen. k Preg. 9, 12
6 [l] Yn fyng-hyfyngder y gelwais ar yr Ar- Diar. 13 14
glwydd, ac y gwaeddais ar fy Nuw; efe a gly- l Ex. 2,23
bu fy llef oi Deml, a'm gwaedd ger ei fron ef a Iago 5.16
ddaeth iw glustiau ef. Luc 18,7
7 [m] Yna y cynhyrfodd, ac y crynodd y ddaiar, m Act. 4, 31
a seiliau y mynyddoedd a gyffroâsant; ac a ym- Sal. 2,5
siglâsant, am iddo ef ddigio.
8 [n] Derchafodd mŵg oi ffroenau, a thân a ys- n Dat. 16 18

sodd oi enau ef; glô a enynnâsant ganddo ef.
oSal.144, 5 9 ° Efe hefyd a ostyngodd y nefoedd, ac a
ddesgynodd; a thywyllwch [oedd] tann ei
draed ef.
pGen. 3, 24 10 ᵖ Marchogodd efe hefyd ar y Cerub, ac a
ehedodd; ïe efe a ehedodd ar adenydd y gwynt.
11 Efe a osododd y tywyllwch yn ddirgelfa
iddo ef, [ai] babell oi amgylch; [sef] tywyllwch
y dyfroedd, [a] chwmylau yr awyr.
12 Gan y discleirdeb [yr hwn sydd] ger ei fron
ef, cwmylau a aethant heibio: cenllysg a mar-
wor tanllyd.
q1Sam.2, 10 13 ᵠ Yr Arglwydd hefyd a daranodd yn y nef-
Sal. 29,3 oedd; a'r Goruchaf a roddes ei lef; cenllysg a
marwor tanllyd.
r Deut. 14 ʳ Anfonodd hefyd ei saethau, a gwasgarodd
32, 23 hwynt; amlhâodd hefyd [ei] fellt, a diuistriodd
Dat.19,15 Ex.14,24 hwynt.
Ios. 10,10 s Iob 4,9 15 ˢ Gwaelodion y dyfroedd a welwyd, a sei-
liau y bŷd a ddinoethwyd gan dy gerydd di O
Arglwydd, [a] chan chwythad anadl dy ffroen-
au di.
tDat. 17, 15 16 ᵗ Anfonodd oddiuchod, cymmerodd fi, [a]
thynodd fi o ddyfroedd awer.
uLuc 11, 21 17 ᵘ Efe a'm gwaredodd oddi wrth fyng-elyn
cadarn, a rhag fyng-hascion; canys y maent yn
drech nâ mi.
vEsa. 48 18 ᵛ Achubâsant fy mlaen yn nydd fyng-ofid:
50, 10 ond yr Arglwydd oedd yn gynhaliad i mi.
wSal.118 19 ʷ Dug fi i ehangder, gwaredodd fi: canys
5 ymhoffodd ynof.
x Esa. 3, 20 ˣ Yr Arglwydd a'm gobrwya yn ôl fyng-
10 Jer.20,5 hyfiawnder: yn ôl glendid fy nwylo y tâl efe:
Gal.6,1 21 ʸ Canys cedwais ffyrdd yr Arglwydd: ac
Ezec. 3, 34 ni wneuthum yn annuwiol yn erbyn fy Nuw.
Sal. 16,8 22 ᶻ O herwydd ei holl farnedigaethau ef [yd-
ynt] ger fy mron i: ai ddeddfau ni fwriais oddi
wrthif.
Sal.119, 23 ᵃ Bum hefyd yn berffaith gyd ag ef: ac ym-
gedwais rhag fy anwiredd.
Lef. 13, 8 24 A'r Arglwydd a'm gobrwyodd yn ôl fyng-
hyfiawnder: [ac] yn ol purdeb fy nwylo o flaen
ei lygaid ef.
25 A'r trugarog y gwnei drugaredd: a'r gŵr
perffaith y gwnei berffeithrwydd.
Lef. 26, 26 ᵇ A'r glân y gwnei lendid: ac a'r cyndyn
8, 21 Sal.125,4 yr ymgyndynni.
Esa2,11 27 ᶜ Canys ti a waredi y bobl gystuddiedic:
5, 15 [ac] a ostyngi olygon uchel.
Sal 101,5 Iob18,6 28 ᵈ O herwydd ti a oleui fyng-hanwyll: yr
21, 17 Arglwydd fy Nuw a lewyrcha fy nhywyllwch.
29 Oblegit ynot ti y rhedaf trwy fyddin: ïe
yn fy Nuw y llammaf dros fûr.
Diar,30 30 ᵉ Duw [sydd] berffaith ei ffordd, gair yr
Arglwydd sydd buredic: tarian yw efe i bawb
a ymddyriedant ynddo.

31 ᶠ Canys pwy [sydd] Dduw heblaw yr Ar- f1Sam.2, 1
glwydd? a phwy [sydd] graig eithr ein Duw ni. Sal. 86, 8
32 Duw a'm gwregyssodd â nerth; ac a ro-
ddes fy ffordd yn berffaith.
33 ᵍ Gosod y mae efe fy nhraed fel [traed] ew- gEsa.58, 14
igod; ac ar fy uchel-fannau i'm sefydlodd.
34 ʰ Efe sy yn dyscu fy nwylo i ryfel; fel y hSal. 144 1
dryllid bŵa dûr [yn] fy mreichiau.
35 ⁱ Rhoddaist hefyd i mi darian dy iechyd- iSal.5,12
wriaeth, a'th ddeheu-law a'm cynhaliodd; a'th Diar. 15, 33
fwynder a'm lluosogodd.
36 ʲ Ehengaist fyng-herddediad tanaf; fel na jIob 18,7
lithrodd fy sodlau.
37 ᵏ Erlidiais fyng-elynnion, ac ai goddiwedd- kDat, 19 17, 18
ais; ac ni ddychwelais nes i mi eu difa hwynt.
38 ˡ Archollais hwy fel na allent sefyll; syrth- lSal. 110
iasant dann fy nhraed. 6
39 ᵐ Canys gwregysaist fi a nerth i ryfel; m Ezec.
cwympaist tanaf y rhai a ymgododd i'm herbyn. 30, 24
40 ⁿ Rhoddaist hefyd i mi warrau fyng-elyn- Esa. 54, 17
nion; fel y difethwn fyng-haseion. n 2Cron. 29, 6
41 ° Gwaeddasant, ac nid [oedd] achubudd; Gen. 32, 8
[sef] ar yr Arglwydd, ond nid attebodd efe Ex.23,27
hwynt. oMica 3, 4
42 ᵖ Maluriais hwynt hefyd fel llŵch o flaen Diar. 1, 28
y gwynt; melais hwynt megis pridd yr heolydd. p Dan. 4 35
43 ᵠ Gwaredaist fi rhag cynhennau y bobl, Mal.4,1, 2
gosodaist fi yn ben cenhedloedd; pobl ni's ad- qEph. 1, 22
nabum a'm gwasanaethent. Sal. 72,8
44 Pan glywant, gwrandawant arnaf; meibion
dieithr a gymmerant arnynt ymddarostwng i mi.
45 ʳ Meibion dieithr a ballant; ac a ddych- rDat. 6, 16
rynant oi carcharau.
46 ˢ Byw fyddo'r Arglwydd, a bendithier fyng- sIer.10,6 Esa. 3,17
hraig; a derchafer Duw fy iechydwriaeth.
47 Duw sydd yn rhoddi i mi allu ymddial;
ac a dywys y bobloedd tanaf fi.
48 Fyng-waredudd oddi wrth fyng elynnion
[ydwyt;] canys ti a'm derchefaist hefyd oddi
wrth y rhai a gyfodent i'm herbyn; achubaist fi
rhag y gŵr traws.
49 ᵗ Am hynny y moliannaf di O Arglwydd tRhuf.15 9
ym mhlith y cenhedlodd; ac y canaf i'th enw.
50 ᵘ Efe sydd yn mawrhau iechydwriaeth ei uSal.2,1, 2
frenin, ac yn gwneuthur trugaredd iw eneiniog, Rhuf.1,3
i Ddafydd, ac iw hâd ef byth.

## PSALM XIX.

Boreuol Wedi.

*At y pen-cerdd, Psalm Dafydd.*

Y ʷ NEFOEDD sy yn dadcanu gogoniant wRhuf.1 20
Duw; a'r ffurfafen sy yn mynegu gwaith Gen. 1.6 Sal.104,2
ei ddwy-law ef.
2 ˣ Dydd i ddydd a draetha ymadrodd; a nos xSal. 145 10
i nos a ddengys wybodaeth.
3 Nid [oes] air nac ymadrodd, [lle] ni chlyw-
yd eu lleferydd hwynt.

y Rhuf. 1, 18 4 [y] I bob tir yr aeth eu sain hwynt, ai geiriau
Act. 14, 16 hyd eithafoedd byd; i'r haul y gosododd efe
babell ynddynt.
z Preg. 1, 3 5 [z] Ac efe fel gŵr priod a ddaw allan oi stafell;
ac a ymlawenha fel cawr yn rhedeg gyrfa.
a Eph. 5, 13 6 [a] O eithaf y nefoedd [y mae] ei fynediad ef
allan, ai amgylchiad hyd eu heithafoedd hwynt;
ac nid ymgudd [dim] oddi wrth ei wres ef.
b 2 Tim. 3, 16 7 [b] Cyfraith yr Arglwydd [sydd] berffaith yn
2 Cor. 5, 17 troi yr enaid; testiolaeth yr Arglwydd [sydd]
siccr, ac yn peri doethineb i'r ehud.
c 2 Cor. 2, 17 8 [c] Deddfau yr Arglwydd [ydynt] iniawn yn
1 Pedr 1, 19 llawenhau y galon; gorchymmyn yr Arglwydd
[sydd] bûr, [ac] yn goleuo y llygaid.
d Ioan 17, 17 9 [d] Ofn yr Arglwydd [sydd] lân, [ac] yn par-
Mat. 5, 18 hau yn dragywydd; barnau'r Arglwydd [ydynt]
wirionedd, cyfiawn [ydynt] eu gyd.
e Sal. 119, 72 10 [e] Mwy dymunol [ynt] nag aur, ïe nag aur
coeth lawer: melysach hefyd na'r mêl, ac na
diferiad diliau mêl.
f 1 Cor. 15, 58 11 [f] Ynddynt hwy hefyd y dyscir dy wâs: oi
cadw [y mae] gwobr lawer.
12 Pwy a ddeall [ei] gamweddau? glanhâ fi
oddiwrth fy [meiau] cuddiedic.
g Gen. 20, 6 13 [g] Attal hefyd dy wâs oddi wrth bechodau
Sal. 119, 133 rhyfygus, na arglwyddiaethant arnaf: yna i'm
perffeithir, ac i'm glanheir oddiwrth anwiredd
lawer.
h 1 Thes. 1, 10 14 [h] Bydded ymadroddion fyng-enau, a my-
Heb. 2, 14, 15 fyrdod fyng-halon yn gymmeradwy ger dy fron,
Esa. 43, 14 O Arglwydd fyng-hraig, a'm gwaredudd.
a 44, 6
a 47, 4

## PSALM XX.

*At y pen-cerdd, Psalm Dafydd.*

GWRANDAWED yr Arglwydd arnat yn
nydd cyfyngder: enw Duw Iacob a'th
ddeffynno.
i 1 Bren. 8, 13 2 [i] Anfoned i ti gymmorth o'r cyssegr: a nerth-
ed di o Sion.
j Gen. 8, 20 3 [j] Cofied dy holl offrymmau: a bydded fod-
lon i'th boeth offrwm. Selah.
k Ioan 3, 29 4 [k] Rhodded i ti wrth [fodd] dy galon: a chy-
flawned dy holl arfaeth.
5 Gorfoleddwn yn dy iechydwriaeth di, a
derchafwn faner yn enw ein Duw: cyflawned
yr Arglwydd dy holl ddymuniadau.
l Sal. 2, 6 6 [l] Yr awr hon y gwn y gwared yr Arglwydd
a 16, 8 ei eneiniog, ac y gwrendu arno ef o nefoedd ei
sancteiddrwydd, yn nerth iechyd ei ddeheu-
law ef.
m Esa. 31, 1 7 [m] [Ymddyried] rhai mewn cerbydau, ac er-
2 Cron. 32, 8 aill mewn meirch: ond nyni a gofiwn enw yr
Arglwydd ein Duw.
n Barn. 5 8 [n] Hwynt a gwympasant, ac a syrthiasant: a
Sal. 146, 9 ninneu a gyfodasom, ac a safasom.
9 Cadw Arglwydd: gwrandawed y Brenin
arnom yn y dydd y llefom.

## PSALM XXI.

*At y pen-cerdd, Psalm Dafydd.*

ARGLWYDD yn dy nerth y llawenycha y
brenin: ac yn dy iechydwriaeth yr ymhyf-
ryda efe yn ddirfawr.
2 Deisyfiad ei galon a roddaist iddo: a dym-
yniad ei wefusau ni's gommeddaist. Selah.
3 [o] Canys achubaist ei flaen ef â bendithion o 1 Sam. 6, 16
daioni: gosodaist ar ei ben ef goron o aur coeth. Can. 3, 11
4 [p] Gofynnodd oes gennit: [a] rhoddaist iddo
hir-oes byth ac yn dragywydd.
5 Mawr [yw] ei ogoniant yn dy iechydwriaeth: p Sal. 72, 15
gosodi arno ogoniant a phrydferthwch. Heb. 7, 25
6 Canys gosodi ef yn fendithion tragywyddol,
llawenychi ef â llawenydd dy wyneb.
7 O herwydd bod y brenin yn ymddyriet yn
yr Arglwydd, ac yn-hrugaredd y Goruchaf, ni
lithr efe.
8 [q] Dy law a gaiff allan dy holl elynnion: dy q Esa. 11, 10
ddeheu-law a gaiff allan dy gaseion.
9 [r] Gosodi hwynt fel ffwrn danllyd yn amser r Mal. 4, 1
dy lid: yr Arglwydd yn ei ddigllonedd ai difa Num. 16, 33
hwynt, a'r tân ai hyssa hwynt.
10 [t] Eu ffrwyth hwynt a ddinistri di oddi ar y t 1 Bren. 13, 34
ddaiar: ai hâd o blith meibion dynnion.
11 [u] Canys bwriadasant ddrwg i'th erbyn: me-
ddyliasant amcan heb allu o honynt [ei gwplau.] u Act. 9, 4
12 Canys gosodi hwy [ar naill] du: yn dy Sal. 2, 1
linynnau y paratoi di [saethau] yn erbyn eu
hwynebau.
13 [v] Ymddercha Arglwydd yn dy nerth: can- v Sal. 97, 13, 14
wn, a chan-molwn dy gadernid. a 29, 1, 2
Dat. 11, 17

## PSALM XXII.

*At y pen-cerdd ar Aieleth hashachar, Psalm Dafydd.*

FY [w] Nuw, fy Nuw, pa ham i'm gadewaist? Prydnawnol Weddi.
pell [ydwyt] oddi wrth fy iechydwriaeth, a w Mat. 27, 46
geiriau fy llefain.
2 [y] Fy Nuw llefain yr ydwyf y dydd, ac ni Marc 15, 34
attebi: y nos hefyd, ac nid [oes] osteg i mi. y Heb. 7
3 [z] A thithe moliant Israel ydwyt yn parhau Galar 3, 8
yn sanctaidd. z Deut. 10, 21
4 [a] Ein tadau a obeithiasant ynot: gobethias-
ant, a gwaredaist hwynt. a Rhuf. 12, 4
5 Arnat ti y llefasant, ac achubwyd hwynt:
ynot yr ymddyriedasant, ac ni's gwradwydd-
wyd hwynt.
6 [b] A minne [ydwyf fel] pryf, ac nid gŵr: b Esa. 41, 14
gwarthrudd dynnion, a dirmyg y bobl. Phil. 2, 7, 8
7 [c] Pawb a'r a'm gwelant a'm gwatwarant: c Mat. 27,
llaesant wefl, [ac] escydwant bennau [gan 37
ddywedyd,]
8 [d] Ymddyriedodd yn yr Arglwydd, gwareded d Mat. 27,
ef: achubed ef, gan ei fod yn dda ganddo. 43
9 [e] Canys ti a'm tynnaist o'r groth: gwnaeth- e Sal. 119,
ost i mi obeithio [pan oeddwn] ar fronnau fy 49
mam.

f Esa.46, 10 [f] Arnat ti i'm bwriwyd o'r brû: o groth fy
3 mam fy Nuw ydwyt.
g Deut. 11 [g] Nac ymbellhâ di oddi wrthif, o herwydd
32, 36 cyfyngder [sydd] agos: ac nid [oes] gynnorth-
wy-wr.
h Mat.27 12 [h] Bustych lawer a'm cylchynasant: gwrdd
deirw Basan, a'm hamgylchasant.
i Galar.3 13 [i] Agorasant arnaf eu genau: [fel] llew rheip-
46 us, a rhuadwy.
j Ios.7,5 14 [j] Fel dwfr i'm tywalltwyd, a'm hescyrn oll
a ymwahanasant: fyng-halon sydd doddedic
fel cwyr yng-hanol fy mherfedd.
k Iob 19, 15 [k] Fy nerth a wywodd fel pridd-lestr, a'm
20 tafod a lynodd wrth daflod fyng-enau: ac yn
llwch angeu i'm cyfleaist.
l Iob 30,1 16 [l] Canys cŵn a'm cylchynasant, a chynnull-
Mat. 27, eidfa y drygionus a'm hamgylchynasant: clodd-
35 iasant fy nwy-law a'm traed.
m Luc 23, 17 [m] Gallaf gyfrif fy holl escyrn: y maent yn
35 treumio, ac yn edrych arnaf fi.
n Luc 23 18 [n] Y maent yn rhannu fy nillad yn eu mysc:
34 ac ar fyng-wisc y maent yn bwrw coelbren.
19 A thithe Arglwydd nac ymbellha: fyng-
hadernid bryssia i'm cynnorthwyo.
o Esa.37, 20 [o] Gwaret fy enaid rhag y cleddyf: fy unic
3 [enaid] o feddiant y ci.
ph.6,13 1 Pedr 21 [p] Achub fi rhag safn y llew: o blith cyrn
Tim.4, unicorniaid atteb fi.
22 [q] Mynegaf dy enw i'm brodyr: yng-hanol
ph.6,19 y gynnulleidfa i'th folaf.
Heb. 2, 23 Y rhai sy yn ofni'r Arglwydd molwch ef,
11,12 holl hâd Iacob gogoneddwch ef: holl hâd
Cor.35, Israel ofnwch ef.
24 Canys ni ddirmygodd, ac ni ffieiddiodd
gystudd y tlawd, ac ni chuddiodd ei wyneb
rhagddo: ond pan lefodd efe arno y gwran-
dawodd ef.
3 Cor.15 25 [r] Fy mawl [fydd] o honot ti yn y gyn-
116, nulleidfa fawr: fy addunedau a dalaf ger bron y
rhai ai hofnant ef.
Ioan 6, 26 [s] Y tlodion a fwyttant, ac a ddiwellir: y
rhai a geisiant yr Arglwydd ai moliannant ef:
eich calon fydd byw yn dragywydd.
27 Holl derfynau y ddaiar a gofiant, ac a
ddychwelant at yr Arglwydd: a holl dylwythau
y cenhedloedd a addolant ger dy fron di.
ac 19, 28 [u] Canys eiddo'r Arglwydd [yw]'r deyrn-
as: ac efe sydd yn llywodraethu ym mhlith y
cenhedloedd.
Esa 6,8, 29 [x] Yr holl rai breision [ar y] ddaiar a fwyt-
hil 2,10 tant, ac a addolant: y rhai a ddescynnant i'r
llwch a gwympant ger ei fron ef: hyd yn oed
Phil.3, [yr hwn] ni fywhâ ei enaid.
huf.10, 30 [Eu] hâd ai gwasanaetha ef: cyfrifir ef i'r
Arglwydd yn genhedlaeth.
al. 87,4 31 [y] Deuant, ac adroddant ei gyfiawnder ef
110, 3
Rhif. xii.

i'r bobl a enir: gan iddo ef [eu] gwneuthur.

## PSALM XXIII.

*Psalm Dafydd.*

YR [x] Arglwydd [yw] fy mugail: ni bydd x Ioan 10,
eisiau arnaf. 11 Phil.4,19
2 [y] Efe a bar i'm orwedd mewn porfeudd y Can.1,8
gwelltoc: efe a'm tywys gerllaw dyfroedd tawel. Esa. 40, 11
3 [z] Efe a ddychwel fy enaid, ac a'm harwain Dat.7,17
ar hyd llwybrau cyfiawnder er mwyn ei enw. z Sal.119, 176
4 [a] A phe rhodiwn ar hyd glynn cyscod angeu Diar. 8, 20
nid ofnaf niwed, o herwydd dy [fod] ti gyd â mi: a Sal. 74, 20
dy wialen, a'th ffon a'm cyssurant. Esa.43,2
5 [b] Ti a arlwyi fort ger fy mron, yn erbyn fyng- b Ioan 20,
wrthwyneb-wyr: iraist fy mhen âg olew, fy 9
phiol [sydd] lawn.
6 Daioni, a thrugaredd yn ddiau a'm canlyn-
ant oll ddyddiau fy mywyd: a phresswyliaf yn
nhŷ'r Arglwydd yn dragywydd.

## PSALM XXIV.

Boreuol weddi.

*Psalm Dafydd.*

EIDDO [c] yr Arglwydd y ddaiar, ai chyf- c Deut.10,
lawnder: y byd, ac a bresswylia ynddo. 14 1 Cor. 10,
2 [d] Canys efe ai seiliodd ar y moroedd: ac ai 26
paratodd ar yr afonydd. d Iob 26,7
3 Pwy a escyn i fynydd yr Arglwydd? a phwy
a saif yn ei le sanctaidd ef?
4 [e] Y diniwed [ei] ddwylo, a'r glan [ei] galon: e 1 Tim.1,
yr hwn ni dderchafodd ei feddwl at wagedd, ac 2,8
ni thyngodd i dwyllo [ei gymmydog.] Mat. 5,8 Ier.22,27
5 [f] Efe a dderbyn fendith gan yr Arglwydd, a f Eph 1,3
chyfiawnder gan Dduw fy iechydwriaeth. 1 Tim 4,8
6 [g] Dymma genhedlaeth y rhai ai ceisiant ef: g Ioan 1,
[sef] y rhai a geisiant dy wyneb di O Iacob. 47
Selah.
7 [h] O byrth derchefwch eich pennau, ac ym- h Dat. 3,
dderchefwch ddrysau tragywyddol: a brenin y 20
gogoniant a ddaw i mewn.
8 [i] Pwy yw yr brenin gogoneddus hwnnw? yr i Tit.2,13
Arglwydd nerthol, a chadarn: yr Arglwydd Dat.19,8
cadarn mewn rhyfel.
9 [j] O byrth derchefwch eich pennau, ac ym-
dderchefwch ddrysau tragywyddol, a brenin y j Sal. 118, 19
gogoniant a ddaw i mewn.
10 Pwy yw'r brenin gogoneddus hwnnw? Ar-
glwydd y lluoedd, efe [yw] brenin y gogoniant.
Selah.

## PSALM XXV.

*[Psalm] Dafydd.*

ATTAT [k] ti O Arglwydd y derchafaf fy k Sal.123,
enaid. 1
2 [l] Fy Nuw, ynot ti'r ymddyriedais, na'm gwr- l Sal. 22,5
adwydder: na lawenyched fyng-elynnion o'm Esa. 37,6
plegit.
3 [m] Hefyd pawb a'r a obeithiant ynot ti ni m Rhuf. 10, 10
wradwyddir hwynt: gwradwyddir y rhai a Sal.59,4,
drosseddant heb achos. 5

nAct, 28 25 4 [n] Par di i mi wybod dy ffyrdd O Arglwydd:
dysc i mi dy lwybrau.
5 Tywys fi yn dy wirionedd, a dysc fi: canys
ti [yw] Duw fy iechydwriaeth, ynot y gobeith-
iais ar hyd y dydd.
oEsa. 43, 26 6 [o] Cofia Arglwydd dy dosturiaethau, a'th
2Tim.1,9 drugareddau: canys er ioed [y maent] hwy.
pIob 13, 26 7 [p] Na chofia bechodau fy ieuengctid, na'm
Sal. 51,1 3 camweddau: yn ol dy drugaredd meddwl di am
danaf er mwyn dy ddaioni Arglwydd.
8 Da ac iniawn [yw] yr Arglwydd: o her-
wydd hynny y dysc efe bechaduriaid yn y ffordd.
qMat. 15 14 9 [q] Y rhai difalch a hyffordda efe mewn barn:
Sal. 5, 8 ai ffordd a ddysc efe i'r rhai gostyngedic.
10 Holl lwybrau'r Arglwydd [ydynt] drugar-
edd, a gwirionedd i'r rhai a gadwant ei gyfam-
mod, ai destiolaethau ef.
rEzec.20 9 11 [r] Er mwyn dy enw Arglwydd maddeu di
1Tim. 1, 1, 13 fy anwiredd: canys mawr yw.
s Sal. 37, 23 12 [s] Pa ŵr yw efe sy'n ofni yr Arglwydd? efe
Diar. 19, 23 ai dysc ef yn y ffordd a ddewiso.
13 Ei enaid ef a erys mewn daioni: ai hâd a
etifedda y ddaiar.
14 Dirgelrwydd yr Arglwydd [a ddatcuddir]
i'r rhai ai hofnant ef: ai gyfammod hefyd iw
cyfarwyddo hwynt.
15 Fy llygaid [ydynt] yn wastad ar yr Ar-
glwydd: canys efe a ddwg fy nhraed allan
o'r rhwyd.
16 Tro attaf, a thrugarha di wrthif: canys
unic a thlawd ydwyf.
t2Cor. 1, 8 17 [t] Gofidion fyng-halon a ymehangasant:
dwg fi allan o'm cyfyngderau.
18 Gwel fyng-hystudd, a'm helbul: a maddeu
di fy holl bechodau.
19 Cenfydd fyng-elynnion, canys amlhausant:
â chasineb traws hefyd i'm cassausant.
20 Cadw fy enaid, ac achub fi: na'm gwrad-
wydder, canys ymddyriedais ynot.
uSal. 26, 1 a 41,14 21 [u] Cadwed perffeithrwydd, ac iniondeb fi,
canys gobeithiais ynot.
vSal. 14, 7 a 34.19 22 [v] O Dduw gwaret Israel oi holl gyfyng-
derau.

## PSALM XXVI.

*Psalm Dafydd.*

w1Cor.4 3, 4 BARN [w] fi Arglwydd, o herwydd rhodio o
Diar. 20. 7 honof mewn perffeithrwydd, ac ymddyr-
ied o honof yn yr Arglwydd, ni lithraf.
xGen. 22 1 2 [x] Hola fi Arglwydd, a phrawf di fi: chwilia
fy arennau, a'm calon.
3 Canys dy drugaredd [sydd] o flaen fy llyg-
aid: am hynny y rhodiais yn dy wirionedd.
ySal. 1, 1 a 12, 2 4 [y] Nid eisteddais gyd â dynnion celwyddoc:
a chyd â'r rhai dichellgar nid aethum.
5 Casseais gynnulleidfâ y drygionus: a chyd
â'r annuwiolion nid ydwyf yn eistedd.

6 [z] Golchaf fy nwylo mewn gwiriondeb: a'th z1Tim.2 8 a .8
allor O Arglwydd a amgylchynaf,
7 I draethu mewn llef clodforedd: ac i fynegu aIoan 14 2
dy holl ryfeddodau. Dat. 2, 1
8 [a] Arglwydd hoffais drigfan dy dŷ: a lle
presswylfa dy ogoniant.
9 [b] Na chasgl fy enaid gyd â'r pechaduriaid: bSal. 27. 10
na'm bywyd gyd â'r dynnion gwaedlyd:
10 [c] Y rhai [y mae] scelerder yn eu dwylo: ai cSal.10,8 Esa. 33, 15
deheu-law yn llawn gobr.
11 [d] Eithr mi a rodiaf yn fy mherffeithrwydd: d 2Bren. 10, 3
gwaret fi, a thrugarha wrthif.
12 [e] Fy nhroed sydd yn sefyll mewn iniondeb: eSal. 27, 11
yn y cynnulleidfaoedd i'th glodforaf O Arglwydd. Heb. 12, 22

## PSALM XXVII.

*Psalm Dafydd.*

YR [f] Arglwydd [yw] fyng-oleuni, a'm iech- Pryd-nawnol weddi.
ydwriaeth, rhag pwy yr ofnaf? yr Ar- f Ioan 8, 12
glwydd [yw] nerth fy mywyd, rhag pwy y 1Ioan 4,5
dychrynaf?
2 [g] Pan nessaodd y rhai drygionus, [sef] fyng- gSal. 14, 8
wrthwyneb-wyr, a'm gelynnion i'm herbyn i
fwytta fyng-nhawd: hwynt a dramgwyddasant,
ac a syrthiasant.
3 [h] Pe gwersylle llu i'm herbyn, nid ofne fyng- h 1 Pedr 3, 14
halon: pe cyfode câd i'm herbyn, er hyn mi a
fyddwn hyderus.
4 [i] Un peth a ddeisyfiais i gan yr Arglwydd, iLuc11,8 9
hynny a geisiaf, [sef] caffel trigo yn nhŷ'r Ar- Iago5,16 17
glwydd holl ddyddiau fy mywyd: i edrych ar 1Tim. 3, 16
brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymweled ai Sal.73,16
Deml.
5 [j] Canys yn y dydd drwg efe a'm cuddia o jEsa. 4,5 1 Ioan 4,
fewn ei babell: yn nirgelfa ei bresswylfod y 14
cuddia efe fi, ar graig i'm dercha efe fi.
6 [k] Ac yn awr y dercha efe fy mhen goruwch kGal.2, 20
fyng-elynnion o'm hamgylch: am hynny'r ab-
erthaf yn ei babell ef ebyrth gorfoledd: canaf a
chan-molaf yr Arglwydd.
7 Clyw O Arglwydd fy lleferydd, trugarha
hefyd wrthif, a gwrando arnaf [pan] lefwyf
[arnat.]
8 [l] Y mae fyng-halon yn ymddiddan â thi [fel lSal. 105 3
hyn,] ceisiwch fy wyneb: dy wyneb a geisiaf O
Arglwydd.
9 Na chuddia dy wyneb oddi wrthif, na fwrw
ymmaith dy wâs mewn sorriant: fyng-hymmorth
i fuost: gan hynny na ad fi, ac na wrthot fi O
Dduw fy iechydwriaeth.
10 [m] Er i'm tad, a'm mam fyng-wrthod: etto mEsa.49, 15 a 14,15
yr Arglwydd a'm derbynnie. Mat. 25, 37
11 [n] Dysc i mi dy ffordd Arglwydd: ac ar- Ier.30,17 Esa40,11
wain fi ar hyd llwybr iniondeb, o herwydd fyng- nSal. 25, 4 a 119,3,
elynnion. 6
12 Na ddyro fi wrth ewyllys fyng-wrth-
wyneb-wyr: canys gau dystion, a [rhai] a ad-

roddant drawster a gyfodasant i'm herbyn.
Ier 11,19 13 ° [Deffygiaswn,] pe na chredaswn weled
daioni'r Arglwydd yn nhir y rhai byw.
p Hab 2,3 14 ᵖ Disgwil wrth yr Arglwydd, ymwrola, ac
Salm 62,1 1 Cor. 16 efe a nertha dy galon: ac ymddyriet yn yr Ar-
13 glwydd.

## PSALM XXVIII.

*Psalm Dafydd.*

Iago 5, ARNAT ᵃ ti Arglwydd y galwaf, fyng-had-
16 1 Cor. 10 ernid na fydd fyddar wrthif: rhag o thewi
Sal. 88,1 yna i'm cyffelybir i rai yn descyn i'r pwll.
a 43,7 2 ʳ Erglyw lef fy ymbil, pan waeddwyf arnat,
1 Tim. 2, pan dderchafwyf fy nwylo tu ag at dy gafell
8 Num 7, sanctaidd.
89 3 Na thynn fi gyd â'r annuwiolion, a chyd â
gweithred-wyr anwiredd, y rhai a lefarant hedd-
wch wrth eu cymmydogion, a drwg yn eu calon.
Dat. 18, 4 ˢ Dyro iddynt yn ol eu gweithred, ac yn ol
6 drygioni eu dychymmygion, dyro iddynt yn ol
gweithredoedd eu dwylo: tâl iddynt eu gobr.
5 Am nad ystyriant weithredoedd yr Arglwydd,
na gwaith ei ddwylo ef, y dinistria efe hwynt,
ac ni's adailada hwynt.
6 Bendigedic fyddo'r Arglwydd: canys clybu
lef fyng-weddiau.
Sal. 18,2 7 ᵗ Yr Arglwydd [yw] fy nerth a'm tarian, yn-
ddo ef yr ymddyriedodd fyng-halon, ac i'm
cynnorthwywyd: o herwydd hyn y llawenych-
odd fyng-halon, ac [ar] fyng-hân y clodforaf ef.
8 Yr Arglwydd [sydd] nerth i'r cyfryw rai, a
chadernyd iechydwriaeth ei eneiniog [yw] efe.
1 Pedr 5 9 ᵘ Cadw dy bobl, a bendithia dy etifeddiaeth:
Sal. 23,1, portha hwynt hefyd, a dercha hwynt yn dragy-
Dat. 5,10 wydd.

## PSALM XXIX.

*Psalm Dafydd.*

Dan. 7, 27 2 Cor. 6,2 Esa. 14,2 Sal. 49,14 Sal. 115 MOESWCH ᵛ i'r Arglwydd [chwi] feibion
cedyrn: [Moeswch i'r Arglwydd hyr-
Act. 12, ddod ieuaingc,] moeswch i'r Arglwydd ogon-
23 iant, a nerth.
1 Cron. 16,29 2 ʷ Moeswch i'r Arglwydd ogoniant ei enw:
addolwch yr Arglwydd yn mhrydferthwch [ei]
Heb. 12 gyssegr.
6 3 ˣ Llef yr Arglwydd [sydd] ar y dyfroedd,
Act 21, Duw y gogoniant a darana: yr Arglwydd
[sydd] ar y dyfroedd mawrion.
4 Llef yr Arglwydd [sydd] mewn grym: llef
yr Arglwydd mewn prydferthwch.
Esa 2, 5 ʸ Llef yr Arglwydd sy yn dryllio y cedr-
13 wydd: ïe dryllia'r Arglwydd gedr-wydd Li-
banus.
6 Efe a wna iddynt lammu fel llô: Libanus
Heb. 4, a Syrion fel llwdn unicorn.
12 7 ᶻ Llef yr Arglwydd a wascara y fflammau
a 1 Thes 4,5 tân.
Num 13 8 ᵃ Llef yr Arglwydd a ddychryna yr anialwch:

yr Arglwydd a ddychryn anialwch Cades.
9 ᵇ Llef yr Arglwydd a wnaeth i'r ewigod lyd- b Iob 39,4
nu, ac a ddinoethodd y coedydd: gan hynny ei Hab 3,17
holl [bobl] yn ei Deml ef a draethant ei ogoniant. c Gen 6,
10 ᶜ Yr Arglwydd sydd yn eistedd ar y llif- 17 Sal 93 3
eiriant, yr Arglwydd hefyd a eistedd yn Fren- Dan 4,34
in yn dragywydd.
11 Yr Arglwydd a ddyry nerth i'w bobl: yr
Arglwydd a fendithia ei bobl â thangneddyf.

## PSALM XXX.

*Psalm [neu] Gân o gyssegriad tŷ Dafydd.* Boreuol weddi.

MAWRYGAF ᵈ di, O Arglwydd, canys d Ex 15,
derchefaist fi: ac ni lawenheaist fyng- 2 Sal 25, 2
elynnion o'm plegit.
2 ᵉ Arglwydd fy Nuw, llefais arnat: a thithe e Sal 103,
a'm hiacheaist. 3 Esa 38,10
3 ᶠ Arglwydd derchefaist fy enaid o uffern: f Sal 86,
cedwaist fi yn fyw, oddi wrth y rhai sy yn des- 13 Iona 2,6
cyn i'r pwll.
4 ᵍ Cenwch i'r Arglwydd ei saint ef: a g Dat 15,
chlodforwch ger bron coffadwriaeth ei sanct- 3
aiddrwydd ef.
5 ʰ Canys ennyd fechan y bydd yn ei lid, ac h Esa 54,
yn ei fodlonrwydd [y mae] bywyd: tros bryd- 7 Sal 63, 3
nawn yr erys wylofain, ac erbyn y boreu [y Esa 12, 1
bydd] gorfoledd. a 17, 14
6 ⁱ A mi a ddywedais yn fy llwyddiant, Ni'm i Iob 29,
syflir yn dragywydd. 18, 19, 20
7 ʲ O'th ddaioni Arglwydd y cyfleaist gryf- j 2 Sam 5
der yn fy mynydd: cuddiaist dy wyneb, a 9 Sal 104
bum helbulus. 29
8 ᵏ [Yna] arnat ti Arglwydd y llefais; ac â'r k Esa 9,
Arglwydd yr ymbiliais. 13
9 Pa fudd [sydd] yn fyng-waed pan ddescyn-
nwyf i'r ffôs? a glodfora y llwch di? [neu] a
fynega efe dy wirionedd?
10 Clyw Arglwydd, a thrugarhâ wrthif; Ar-
glwydd bydd gynnorthwy i mi.
11 Troaist fyng-alar yn llawenydd; dattod-
aist fy sach-wisc a gwregysaist fi â llawenydd.
12 Am hynny [fy] nhafod a gân i ti, ac ni
thau; O Arglwydd fy Nuw yn dragywyddol
i'th glodforaf.

## PSALM XXXI.

*Psalm Dafydd at y Pencerdd.* 1 Cron 5 20

YNOT ˡ ti Arglwydd yr ymddyriedais, na'm
gwradwydder yn dragywydd; gwaret fi Salm 5,8
yn dy gyfiawnder. a 71, 1
2 ᵐ Gogwydda dy glust attaf, brysia i'm m Rhuf
gwaredu; bydd i mi yn graig gadarn, yn dŷ 4. 19 2 Sam 5,7
amddeffyn i'm cadw.
3 ⁿ Canys fyng-hraig a'm castell [ydwyt] ti: n Sal 23,3
gan hynny er mwyn dy enw, tywys fi, ac ar- a 11, 2
wain fi.
4 Dwg fi allan o'r rhwyd yr hon a guddias-
ant i'm herbyn; canys ti [yw] fy nerth.

o Luc 23 46 5 ° I'th law y gorchymynnaf fy yspryd; gwa-
redaist fi O Arglwydd Dduw y gwirionedd.
pRhuf 1 21 6 p Caseais y rhai sy yn cadw ofer-wagedd;
Iona 2. 8 minne hefyd a obeithiaf yn yr Arglwydd.
q 1 Sam 17, 36 7 q Ymlawenhaf, ac ymhyfrydaf yn dy drugar-
Esa.63,9 edd, yr hwn a welaist fy adfyd; adnabuost fy
enaid mewn cyfyngder.
rDeut 32 30 8 r Ac ni warcheaist fi yn llaw y gelyn, [onid]
Salm 4,1 sefydlaist fy nhraed mewn ehangder.
a 18, 19 a 119, 33 9 Trugarhâ wrthyf Arglwydd, canys cyfyng
[yw] arnaf; dadwinodd fy llygaid, fy enaid, a'm
bol gan gystudd;
sDiar 17 22 10 s Canys fy mywyd a ballodd gan ofid, a'm
Salm 32, 3 blynyddoedd gan alar; fy nerth a syrthiodd o
a 102, 3 herwydd fy anwiredd, a'm hescyrn a bydras-
ant.
t 1 Cor 4 9, 13 11 t Yn warthrudd yr ydwyf gan fy holl elyn-
Salm 38, 11 nion, a [hynny] yn ddirfawr gan fyng-hymmyd-
ogion; ac yn ddychryn i'r rhai a'm hadwaenant,
Mat 26 56 y rhai a'm gwelent allan a giliant oddi wrthif.
uSalm88 4 12 u Anghofiwyd fi allan o feddwl, fel [un]
Ier 20 10 marw; yr ydwyf fel llestr methedic.
13 Canys clywais ogan llaweroedd, dychryn
[oedd] o bob parth; pan gyd-ymgynghorasant
yn fy erbyn, yr amcanasant fy nieneidio.
v Heb 6 18 14 v Ond mi a obeithiais ynot ti Arglwydd,
1 Pedr 1 7 dywedais, Fy Nuw ydwyt.
w Ioan 7 30 15 w Yn dy law di [y mae] fy amserau; gwa-
a 19, 10 ret fi oddi wrth law fyng-elynnion, ac oddi
wrth fy erlid-wyr.
16 Llewyrcha dy wyneb ar dy wâs: achub fi
yn dy drugaredd.
xSalm 49 12, 14 17 x Arglwydd na waradwydder fi, canys gel-
1 Sam 2 9 wais arnat; gwradwydder yr annuwolion, tor-
rer hwynt i'r bedd.
18 Gosteger eu gwefusau celwyddoc, y rhai
a ddywedant yn galed drwy falchder, a diystyr-
wch yn erbyn y cyfiawn.
y 1Cor. 2 9 19 y Morr fawr [yw] dy ddaioni yr hwn a
Esa. 64,4 roddaist i gadw i'r sawl a'th ofnant, [ac] a
Col. 3, 3 wnaethost i'r rhai a ymddyriedant ynot ger
bron meibion dynnion.
zSal.27,5 20 z Cuddi di hwynt yn ddirgel ger dy fron
rhag balchder dynnion; cuddi hwynt mewn
pabell rhag cynnen tafodau.
21 Bendigedic fyddo 'r Arglwydd, canys
dangosodd yn rhyfedd ei garedigrwydd i mi
mewn dinas gadarn.
aIer.8,16 22 a A mi a ddywedais yn fy ffrwst, Fo'm
Iona 2,4 bwriwyd allan o'th olwg; er hynny ti a wran-
dewaist lais fyng-weddiau pan lefais arnat.
bDat. 19 20 23 b Cerwch yr Arglwydd ei holl sainct ef;
yr Arglwydd a geidw [ei] ffyddlonniaid, ac a
dâl yn ehelaeth i'r neb a wnant falchder.
24 Ymnerthwch oll a'r sydd yn gobeithio yn
yr Arglwydd: ac efe a gryfhâ eich calon.

## PSALM XXXII.

*Psalm Dafydd er Athrawiaeth.* Prydnawnol weddi.

GWYN c ei fyd [y neb] y maddeuwyd ei cRhuf. 4 7
drosedd: [ac] y cuddiwyd [ei] bechod.
2 d Gwyn ei fyd y dyn ni chyfrif yr Arglwydd d2Cor. 5 19, 21
iddo anwiredd; ac ni [bo] dichell yn ei yspryd. Heb. 7, 22
3 e Tra y tewais, heneiddiodd fy escyrn gan Ioan1,47 Dat.14,5
fy rhuad bob dydd. eCor. 11, 31
4 Canys trwmhaodd dy law arnaf ddydd a
nos; fy irder a droiwyd yn sychter haf. Selah.
5 f Cydnabyddaf fy mhechod [wrthit] a'm fDiar.28 13
hanwiredd ni chuddiais; dywedais, Cyffessaf
yn fy erbyn fy hun fy anwireddau i'r Arglwydd,
a thi a faddeuaist boen fy mhechod. Selah. gEsa. 55 6
6 g Am hynny y gweddia pob duwiol arnat a 35, 16
ti yn yr amser i'th ceffir; eithr yn llifeiriant
dyfroedd mawrion ni chânt nessau atto ef.
7 h Ti [ydwyt] loches i mi; cedwi fi rhag ing; hSal. 31, 20
amgylchyni fi â chaniadau ymwared. Selah. Dat.19,1
8 i Cyfarwyddaf di, a dyscaf di yn y ffordd yr iHeb. 3, 13
elech: a'm llygad arnat [i'th] gynghoraf.
9 j Na fyddwch fel march [neu] fûl heb dde- jDiar.26 3
all [yr hwn y mae rhaid] attal ei ên â genfa, ac Iago 3, 3
â ffrwyn, rhag ei ddinesau attat.
10 k Gofidiau lawer [fydd] i'r annuwiol, a'r kRhuf.2, 9
neb a ymddiriedo yn yr Arglwydd trugaredd
ai cylchyna ef.
11 l Y rhai cyfiawn byddwch lawen, a hyfryd lPhil.4,4
yn yr Arglwydd; a'r rhai iniawn o galon oll,
clodforwch.

## PSALM XXXIII.

YMLAWENHEWCH m y rhai cyfiawn yn mSal. 97 16
yr Arglwydd; i'r rhai iniawn gweddus a 33, 11
[yw] diolchgarwch.
2 Molwch yr Arglwydd ar y delyn; cênwch
iddo ar y nabel [ac ar y] dectant.
3 n Cênwch iddo ganiad newydd; cênwch yn nDiar.21 1
gerddgar, ac yn soniarus. Eph.5,19
4 o Canys iniawn [yw] gair yr Arglwydd, ai oDiar.30 5
holl weithredoedd [ydynt] ffyddlon.
5 p Efe a gâr gyfiawnder, a barn; o drugaredd
yr Arglwydd [y mae] y ddaiar yn gyflawn. pSal. 45, 7
6 Trwy air yr Arglwydd y gwnaethpwyd y 1Tim. 4,
nefoedd: ai holl luoedd hwy trwy yspryd ei en- 10
au ef.
7 q Casclu y mae efe ddyfroedd y môr ynghyd, q Gen. 1 9
megis yn ben-twrr: gan roddi y dyfnderoedd Diar. 8 29
mewn tryssorau. Iob 38,16 Ier 5,22
8 r Ofned yr holl ddaiar yr Arglwydd; holl rDiar. 4 11
drigolion y byd arswydant ef. Rhuf. 1 20
9 Canys efe a ddywedodd, ac [felly] y bu; efe Eph.3,10
a orchymynnodd, a [hynny] a safodd.
10 s Yr Arglwydd sydd yn diddymmu cyngor sEsa.8,10
y cenhedloedd; y mae efe yn diddymmu am- Act 4,29 Iob 5,12
canion pobloedd, [ac yn llysu cyngor tywys-
ogion.]

11 Cyngor yr Arglwydd a saif yn dragyw-
ydd: [a] meddyliau ei galon o genhedlaeth, i
genhedlaeth.
t Rhuf. 8 31 Ex. 19,5 12 [t] Gwyn ei fyd y genedl yr hon [y mae] yr
Arglwydd yn Dduw iddi: a'r bobl a ddetholes
efe yn etifeddiaeth iddo ei hun.
u Diar. 15 3 13 [u] Yr Arglwydd sy yn edrych i lawr o'r nef-
oedd: [ac] yn gweled holl feibion dynnion.
14 O bresswyl ei drigfa yr edrych efe ar holl
drigolion y ddaiar.
15 Yr hwn a gyd-luniodd eu calon hwynt:
gan ddeall eu holl weithredoedd.
v Dat. 16, 14 Barn. 1, 19 16 [v] Ni waredir brenin gan liaws llu: ni ddi-
angc cadarn drwy amlder cryfder.
17 Palledic [yw] 'r march i ymwared: ac nid
achub efe neb drwy ei fawr-gryfder.
w Zec. 12 4 18 [w] Wele lygad yr Arglwydd ar y rhai ai
hofnant ef: [sef] ar y rhai a ymddyriedant yn
ei drugaredd ef,
x Diar. 10 3 19 [x] Er mwyn gwaredu eu heneidiau rhag
angeu: ac iw cadw yn fyw yn [amser] newyn.
y Sal. 46, 1 20 [y] Ein henaid sydd yn disgwil am yr Ar-
glwydd: efe yw ein porth a'n tarian.
z 1 Cron. 5, 20 Sal. 91, 2 21 [z] Canys ynddo ef y llawenycha ein calon,
o herwydd i ni obeithio yn ei enw sanctaidd ef.
22 Bydded dy drugaredd Arglwydd arnom
ni, megis yr ymddyriedom ynot.

## PSALM XXXIV.

*Psalm Dafydd pan newidiodd efe ei agwedd o flaen Abimelech, yr hwn ai gyrrodd ef i fyned ymmaith.*

a Act. 26 5 DIOLCHAF [a] i'r Arglwydd bob amser:
ei foliant [fydd] yn fyng-enau yn wastad.
b 1 Cor. 1 1 Pedr 5 2 [b] Yn yr Arglwydd y gorfoledda fy enaid:
yr rhai gostyngedic a glywant [hyn,] ac a la-
wenychant.
3 Mawrygwch yr Arglwydd gyd â mi: a chyd-
dderchafwn ei enw ef.
c Heb. 5 4 [c] Ceisiais yr Arglwydd, ac efe a'm gwran-
dawodd: gwaredodd fi hefyd o'm holl ofn.
5 Edrychant arno, a hwynt a eglurir: ai hwy-
nebau ni chywilyddir [eithr dywedant:]
6 Y tlawd hwn a lefodd, a'r Arglwydd [ai]
clybu, ac ai gwaredodd oi holl drallodau.
d Gen. 32 7 [d] Angel yr Arglwydd a gastella o amgylch
y rhai ai hofnant ef, ac ai gwared hwynt.
e 1 Pedr 2, 3 8 [e] Profwch, a gwelwch morr dda yw'r Ar-
glwydd: gwyn ei fyd y gŵr a ymddyriedo yn-
ddo.
f Heb. 12 9 [f] Ofnwch yr Arglwydd ei sainct ef: canys
nid [oes] eisieu ar y rhai ai hofnant ef.
g Iob 4, 10 Tim. 6 8 10 [g] Y mae eisieu, a newyn ar y llewod, a'r
sawl a geisiant yr Arglwydd, ni bydd arnynt
eisieu dim daioni.
h Prov. 2, 10 11 [h] Deuwch feibion, gwrandewch arnaf;
i 1 Pedr 3 10 dyscaf i chwi ofn yr Arglwydd.
12 [i] Pwy [yw] 'r gŵr a chwennych fywyd, gan
garu [hir] ddyddiau i weled daioni?
13 [j] Cadw dy dafod rhag drwg: a'th wefusau j Sal. 39, 1 a 15, 2
rhag traethu twyll.
14 [k] Ymwrthot a'r drwg, a gwna dda: ym- k Rhuf. 12, 18
gais a thangneddyf, a dilyn hi.
15 [l] Llygaid yr Arglwydd [ydynt] ar y rhai l Sal. 33 18 Galar. 3 56
cyfiawn: ai glustiau [ydynt yn agored] i'w llef-
ain hwynt.
16 Wyneb yr Arglwydd [sydd] yn erbyn y
rhai a wna ddrwg: i dorri eu coffa oddi ar y
ddaiar.
17 [m] [Yr rhai cyfiawn] a lefasant, a'r Ar- m Salm 145, 18
glwydd a glybu, ac ai gwaredodd oi holl dra-
llodion.
18 Agos [yw] 'r Arglwydd at y rhai drylliedic
ic o galon: ac efe a geidw y rhai briwedic o
yspryd.
19 [n] Llawer o ddrygau [a gaiff] y cyfiawn: n Act. 14 22
ond yr Arglwydd ai gwared ef oddi wrthynt oll. Heb. 12, 5
20 [o] Efe a geidw ei holl escyrn: ni ddryllir un o Ioan 19
o honynt. 36
21 [p] Drygioni a ladd yr annuwiol: a'r rhai p Luc 12
a gasânt y cyfiawn a anrheithir. 20
22 Yr Arglwydd a wareda eneidiau ei weis-
ion: a'r rhai oll a ymddyriedant ynddo ef nid
anrheithir hwynt.

## PSALM XXXV.

*Psalm Dafydd.*

DADLE [q] Arglwydd â'r rhai a ddadleuant Boreuol weddi.
i'm herbyn: rhyfela yn erbyn y rhai a q Esa. 45 25
ryfelant â mi.
2 [r] Ymafel yn y tarian a'r astalch, a chyfot i'm r Esa. 42 13
cymmorth.
3 [s] Dwg allan y waiw-ffon, ac argaea yn er- s Gen. 19 6
byn fy erlid-wŷr: dywet wrth fy enaid, Myfi 1 Cor. 2 12
[yw] dy iechyd.
4 Cywilyddier, a gwradwydder y rhai a geis-
iant fy enaid: ymchweler yn [eu] hôl, gwarth-
aer y sawl a fwriadant fy nrygu.
5 [t] Byddant fel ûs o flaen y gwynt; ac angel t Salm 1, 4
yr Arglwydd yn [eu] gwascaru. Hos. 13, 3
6 [u] Bydd eu ffordd yn dywyllwch, ac yn lli- u Diar. 4
thrigfa; ac angel yr Arglwydd yn eu hymlid. 19 Salm 88, 7
7 [v] Canys heb achos y cuddiasant bydew ai v Salm 7
rhwyd i mi; heb achos y cloddiasant [bydew] 8 a 9, 15
i'm henaid.
8 [w] Deued arno ddestrnw ni ŵypo, ai rwyd w Dat. 17 16
yr hon a guddiodd efe a'i dalio: syrthied yn y 1 Thes. 5 3
destruw hynny. Salm 7, 15
9 Eithr llawenyched fy enaid yn yr Ar-
glwydd: [ac] ymhyfryded yn ei iechydwriaeth
ef.
10 [x] Fy holl escyrn a ddywedant, O Ar- x Iob 31 20
glwydd, pwy [sydd] fel tydi, yn gwaredu y Salm 51, 8
tlawd rhag yr hwn a fydd trêch nag ef? y tru- Iob 5, 15

an hefyd a'r tlawd rhag y neb ai hyspeilio?
y Mat. 26, 59 11 [y] Tystion gau a gyfodasant: holasant i mi
Act. 24, 4 yr hyn nis gwn oddi wrtho.
z Salm 109, 4 12 [z] Talasant i mi ddrwg dros dda, gan ys-
Ier. 18, 20 peilio fy enaid.
a Gen. 37, 34 13 [a] A minne pan glefychent hwy [oeddwn]
a'm gwisc o sach-len, gostyngais fy enaid ag
ympryd: a'm gweddi a ddymchwelodd i'm
mynwes fy hun.
14 Ymddygwn fel [pe buase]'n gyfaill, [neu]
fel [pe buase] yn frawd i mi: ymostyngwn mewn
galar-wisc fel [un] yn galaru am [ei] fam.
b Iob 30, 8 15 [b] Ond ymlawenhasant hwy yn fy adfyd i,
Salm 57, 4 ac ymgasclasant, ymgasclodd efryddion yn fy
erbyn, ac nis gwyddwn: min-gammasant [fi,] ac
ni pheidient.
c Phil. 3, 19 16 [c] Ym mysc y rhag-rithwŷr [yr oedd] gwat-
Diar. 28, 21 warwŷr mwŷs-air yn escyrnygu eu dannedd
arnaf.
d Hab. 1, 13 17 [d] Arglwydd hyd pa brŷd yr edrychi [ar
hyn?] gwaret fy enaid rhag eu destruw hwynt,
fy unic [enaid] rhag y llewod.
18 [Yna] i'th glodforaf mewn cynnulleidfa
fawr: moliannaf di ym mhlith pobl lawer.
e Diar. 6, 13 19 [e] Na lawenyched fyng-elynion i'm herbyn
a 10, 10 yn anghyfiawn: y sawl a'm casânt yn ddiachos
[nac] amneidiant â llygad.
f Salm 120, 7 20 [f] Can nad ymddiddanant yn dangneddyf-
us: eithr dychymmygant eiriau dichellgar yn
erbyn y rhai llonydd ar y ddaiar.
g Sal. 22, 13 21 [g] Lledasant eu safn arnaf, gan ddywedyd,
Ezec. 25, 3 Ffei, ffei, gwelodd ein llygad.
Sal. 40, 15 22 [h] Gwelaist [hyn] Arglwydd, na thaw dithe:
h Ex. 3, 7 nac ymbellhâ oddi wrthif O Arglwydd.
Salm 31, 7 a 83, 1 23 Cyfot, a deffro i'm barn [sef] i ddadle gyd
â mi, fy Nuw, a'm Harglwydd.
i 2 Thes. 1, 6 24 [i] Barn fi Arglwydd fy Nuw, yn ôl dy gyf-
iawnder: ac na lawenhânt o'm plegit.
25 Na ddywedant yn eu calon, O ein gwyn-
fyd: ac na ddywedant, Llyngcasom ef.
j Sal. 25, 3 26 [j] Cywilyddier, a gwaradwydder hwy eu gyd
a 40, 15 a 109, 29 y rhai sy lawen am fy nryg-fyd: gwiscer â gwarth,
Obad. 12 ac â chywilydd y rhai a ymfawrygant i'm herbyn.
Ier. 48, 26 Salm 38, 16 27 [k] Câned a llawenyched y rhai a hoffant
k 1 Cor. 12, 26 fyng-hyfiawnder, a dywedant hefyd yn wastad,
Mawryger yr Arglwydd yr hwn a gâr lwyddiant
ei wâs.
28 Fy nhafod inne, a fyfyria [ar] dy gyfiawn-
der, a'th foliant bob dydd.

## PSALM XXXVI.

*Psalm Dafydd gwâs yr Arglwydd at y Pen-cerdd.*

l Salm 14, 1 Y MAE [l] anwiredd yr annuwiol yn dywed-
Rhuf. 3, 18 yd o fewn fyng-halon, nad [oes] ofn Duw
o flaen ei lygaid ef.
m Luc 12, 19 2 [m] O herwydd ymwenhieithio y mae efe iddo
ei hun, yn ei olwg ei hunan, nes cael allan ei
anwiredd ef [yr hwn sydd] iw gassau.
3 [n] Geiriau ei enau [ydynt] anwiredd, a thwyll: n Sal. 12, 2
peidiodd a bod yn gall i wneuthur daioni. Ier. 4, 22
4 [o] Anwiredd a ddychymmyg efe ar ei wely, o Mic. 2, 1
efe ai gesyd ei hun ar ffordd nid [yw] dda: ni Esa. 65, 2
wrthyd efe ddrygioni.
5 Dy drugaredd Arglwydd [sydd] hyd y nef-
oedd, a'th wirionedd hyd yr wybrennau.
6 [p] Fel mynyddoedd cedyrn [y mae] dy gyf- p Sal. 77, 19
iawnder, dyfnder mawr [yw] dy farnedigaethau:
dyn, ac anifail a achubi di Arglwydd. Mat. 5, 45
7 [q] Morr werth-fawr [yw] dy drugaredd O q Eph. 3, 18
Dduw, am hynny'r ymddyried meibion dynion Esa. 1, 10
yng-hyscod dy adenydd.
8 [r] Lleuwir hwynt â brasder dy dŷ: ac ag afon r Esa. 65, 13
dy hyfrydwch y diodi hwynt. Ier. 17, 7
9 [s] Canys gyd â thi [y mae] ffynnon y bywyd: s Ier. 2, 13
yn dy oleuni di y gwelwn oleuni. Mat. 16, 17
10 Estyn dy drugaredd i'r rhai a'th adwaen- Iago 1, 17
ant, a'th gyfiawnder i'r rhai uniawn o galon.
11 [t] Na ddeued troed balchder i'm herbyn: ac t Ezec. 36, 13
na syfled llaw y rhai annuwiol fi.
12 Yno y syrthiodd gweith-wŷr anwiredd
gwthiwyd hwynt i lawr, ac ni allant gyfodi.

## PSALM XXXVII.

*Psalm Dafydd.*

N AC [u] ymddigia o herwydd yr annuwol- Prydnawnol weddi.
ion, ac na chenfigenna wrth y rhai a wnant u Ier. 12, 1
anwiredd.
2 [v] Canys yn ebrwydd y torrir hwynt i'r llawr v Sal. 90, 5
fel glas-wellt, ac y gwywant fel gwyrdd lyssiau.
3 [w] Gobeithia yn yr Arglwydd, a gwna dda: w Eph. 5, 8
trig yn y tir, a thi a borthir yn ddiau.
4 [x] Ymddigrifa yn yr Arglwydd, ac efe a ddy- x 1 Petr. 1, 8
ru i ti ddymuniadau dy galon.
5 Treigla dy ffordd ar yr Arglwydd, ac ym-
ddyriet ynddo, ac efe a gyflawna [dy ewyllys.]
6 [y] Efe a ddwg allan dy gyfiawnder fel y go- y Mica 7, 9
leuni: a'th iniondeb di fel [yr haul] hanner dydd.
7 Disgwil yn ddistaw wrth yr Arglwydd, ac
ymddyriet ynddo: nac ymddigia wrth yr hwn
a lwyddo ganddo ei ffordd, nac wrth y gŵr yr
hwn sydd yn gwneuthur [ei] amcan.
8 [z] Paid â digofaint, a gad ymmaith gynddar- z Mat. 5, 22
edd: nac ymofidia chwaith i ddrygu.
9 [a] Canys torrir ymmaith y drwg-ddynnion, a'r a Deut. 4, 16
rhai a ddisgwiliant wrth yr Arglwydd, hwynt- Esa. 57, 13
wy a etifeddant y tir.
10 [b] Am hynny etto ychydigyn, ac ni [welir] b Heb. 10, 36
yr annuwiol, a thi a edrychi am y lle y bu efe, ac Dat. 11, 8
ni [bydd] dim [o] honaw.
11 [c] Eithr y rhai gostyngedic a feddant y ddai- c Dan. 4, 47
ar, ac ai diddenir gan liaws tangneddyf.
12 Yr annuwiol a amcana yn erbyn y cyfiawn, d Salm 2, 4
ac a escyrnyga ei ddannedd arno.
13 [d] Yr Arglwydd ai gwatwar ef, canys gwel- 1 Sam. 26, 10

odd fod ei ddydd ar ddyfod.
14 Yr annuwolion a dynnasant eu cleddyf,
ac a annelasant eu bwa, i fwrw i lawr y tlawd,
a'r anghenog,[ac] i ladd y rhai iniawn [eu] ffordd.
15 [Eithr] eu cleddyf a aiff yn eu calon eu
hunain, ai bwâu a ddryllir.
e1Tim.6 6,8 16 [e] Gwell [yw] prinder y cyfiawn, na mawr
Diar.6,6 olud yr annuwiolion cedyrn.
17 Canys breichiau'r annuwolion a ddryllir:
a'r Arglwydd a gynnal y rhai cyfiawn.
f Esa.60 18 [f] Yr Arglwydd a edwyn ddyddiau y rhai
21 1 Pedr 1 perffaith, ai hetifeddiaeth hwy fydd yn dragy-
wydd.
Dan. 2, 44 19 [g] Ni's gwradwyddir hwy yn amser y dryg-
g Eph.5 16 fyd, ac yn amser newyn y cânt ddigon.
20 [h] Eithr collir yr annuwolion, a gelynnion
Esa 34,6 yr Arglwydd fel braster wyn a ddiflannant: [sef]
gyd a'r mwg y diflannant.
i Deut.28 21 [i] Yr annuwiol a echwyna ac ni thâl adref;
12 Salm112, a'r cyfiawn sydd drugarog, ac yn rhoddi.
j Mat. 25 22 [j] Canys y rhai a fendigo efe a etifeddant y
34 tir; a'r rhai a felldithio efe a dorrir ymmaith.
k 1Sam.2 23 [k] Yr Arglwydd a fforddia gerddediad gŵr;
9 a da fydd ganddo ei ffordd ef.
l Mic.7,8 24 [l] Er iddo gwympo, ni fwrir ef ymmaith;
canys yr Arglwydd sydd yn [ei] gynnal [ef] ai
law.
m Heb.13 25 [m] Mi a fum ieuangc, ac yr ydwyf yn hen;
5 ac ni welais [er ioed] y cyfiawn wedi ei adu, nai
Salm 112 hâd yn cardota [eu] bara.
n Mat.6,33 26 [n] Pob amser y mae y cyfiawn yn drugarog,
1 Pedr 9 ac yn rhoddi benthyg; ai hâd [a fwynhâ] y fen-
dith.
p Tit.2,12 27 [p] Cilia di oddiwrth ddrwg, a gwna dda, a
chyfannedda yn dragywydd.
q Sal. 11 28 [q] Canys yr Arglwydd a gâr farn, ac ni edu
ei sainct; cedwir hwynt yn dragywydd, a hâd
yr annuwolion a dorrir ymmaith.
29 Y rhai cyfiawn a etifeddant y ddaiar, ac a
bresswyliant arni yn dragywydd.
r Mat. 12 30 [r] Genau y cyfiawn a fynega ddoethineb, ai
dafod a draetha farn.
31 Deddf ei Dduw sydd yn ei galon ef, ai
draed ni lithrant.
32 Yr annuwiol a graffa ar y cyfiawn, ac a gais
ei ladd ef,
s 2 Pedr 2 33 [s] Ni âd yr Arglwydd ef yn ei law ef, ac ni
Sal. 109 âd ef yn euog pan ei barner.
t Heb. 12 34 [t] Gobeithia yn yr Arglwydd, a chadw ei
ffordd ef, ac efe a'th dderchafa fel yr etifeddech
Salm 52 y tir; gweli pan ddifether yr annuwolion.
35 [u] Gwelais yr annuwiol yn gadarn, ac yn
frigeo, fel y lawryf gwyrdd.
Iob 20,5 36 [v] Er hynny efe a aeth ymmaith, ac wele nid
[oedd mwy o] honaw; a mi ai ceisiais, [ac] ni
cheid ef.

37 Ystyr yr hyn sydd berffaith, ac edrych ar
yr iniawn, canys diwedd y gŵr hwnnw [fydd]
tangneddyf.
38 [w] Canys y trawsion a gyd ddestruwir, [a] w Sal.1,4
diwedd yr annuwolion a ddiwreiddir.
39 [x] Ac iechydwriaeth y rhai cyfiawn [fydd] x Sal. 3,8
gan yr Arglwydd: efe fydd eu nerth hwynt yn
amser trallod.
40 Canys yr Arglwydd ai cymmorth hwynt,
ac ai gwared, efe ai gwared hwynt rhag yr an-
nuwiolion, ac ai ceidw hwynt, gan iddynt ym-
ddyried ynddo.

## PSALM XXXVIII.

*Psalm Dafydd er coffa.*

ARGLWYDD [y] na cherydda fi yn dy lid: Boreuol weddi. y Salm 6
ac na chospa fi yn dy ddigllonedd.
2 [z] Canys dy saethau a ddescynnasant ynof: 1 Ier.10,24
a'th law a ddescynnodd arnaf. z Iob 6, 4 1 Pedr 5
3 [a] Nid oes iechyd yn fyng-nghnawd o her- 8
wydd dy ddigllonedd: ac nid oes heddwch i'm a Sal.51,8
hescyrn o blegit fy mhechod.
4 [b] Canys fyng-hamweddau a aethant dros fy b Mat. 11
mhen, megis baich gorthrwm y maent yn rhy 28
drwm i mi.
5 Fyng-hleisiau a bydrasant, [ac] a lygrâsant
gan fy ynfydrwydd.
6 Crymmwyd a darostyngwyd fi'n ddirfawr;
beunydd yr ydwyf yn myned yn alarus.
7 Canys fy lwynau a lawnwyd o boethder, ac
nid [oes] iechyd yn fyng-nghnawd.
8 [c] Gwanhauwyd, a drylliwyd fi'n dramawr; c Esa.38
rhuais gan ofid fyng-halon. 10
9 [d] O'th flaen di Arglwydd [y mae] fy holl ddym- Esa. 5,30 d Rhuf.8
uniad, ac ni chuddiwyd fy uchenaid oddiwrthit. 27 Mat. 6,6
10 Fyng-halon sydd yn cynhyrfu, fy nerth a'm
gadawodd, a llewyrch fy llygaid nid [yw] ych-
waith gennif.
11 [e] Fyng-haredigion, a'm cyfeillion a safent e Luc 23
oddiar gyfer fy mhlâ, a'm cyfneseifiaid a safent 49
o hir-bell.
12 Yna y rhai a geisient fy enaid a osodasant
faglau, a'r rhai a geisient fy niwed a draethent
anwireddau, ac a ddychymmygent ddichellion
beunydd.
13 [f] A minne fel byddar ni chlywn, eithr [oedd- f 2Sam.16 9
wn] fel mudan heb agorid ei enau. Salm 39
14 Felly'r oeddwn fel gŵr yr hwn ni chlywe, 9
ac heb argyoeddion yn ei enau.
15 O herwydd i'm obeithio ynot Arglwydd,
ti fy Arglwydd Dduw a wrandewi.
16 Canys dywedais, [Edrych] rhag llawenychu
[o'm gelynnion] i'm herbyn, pan lithre fy nhroed
ymfawrygent i'm herbyn. g Gen.32
17 [g] Yn ddiau i ddialedd i'm paratoiwyd, a'm 31 h Diar.
dolur [sydd] ger fy mron yn wastad. 28, 13
18 [h] Diau y mynegaf fy anwiredd, [ac] y 2 Cor. 7 11

pryderaf o herwydd fy mhechod.
iSalm 35 19 [i] Ac y mae fyng-elynnion yn fyw, ac yn
18 gedyrn, amlhawyd hefyd y rhai a'm cassâut ar
gam:
jSalm109 20 [j] A'r rhai a dalant ddrwg dros dda a'm
4 Dan. 6,5 gwrthwynebant; am ddilyn o honof ddaioni.
6 21 Na ad ti fi O Arglwydd fy Nuw, nac ym-
1 Ioan 3, 12 bellhâ oddi wrthif.
22 Bryssia i'm cynnorthwyo O Arglwydd fy
iechyd.

## PSALM XXXIX.

*Psalm Dafydd at Iedutkun y Pen-cerdd.*

k 1Bren. 2, 4 DYWEDAIS, [k] Cadwaf fy ffyrdd rhag
2 Bren. 10, 31 pechu â'm tafod; cadwaf ffrwyn yn fy
Iago 3,2 ngenau tra [fyddo] 'r annuwiol yn fyng-olwg.
Mat. 12 36 2 [l] Tewais yn ddistaw, [ïe] tewais a [dywedyd]
Sal.141,3 daioni; a'm dolur a gyffrôdd.
Col. 4, 5 3 [m] Gwresogodd fyng-halon o'm mewn; tra
1Preg. 3 7 y myfyriais, enynnodd tân, [a] mi a leferais â'm
m Ier.20 14 tafod.
Iob 3,1,2 4 Arglwydd gâd ti i mi wybod fy niwedd, a
pheth yw nifer fy nyddiau; gad ti i mi wybod
o ba oedran [y byddaf] fi.
nSalm 90 5 [n] Wele rhoddaist fy nyddiau [fel] dyrnfedd,
4 a 92, 9 a'm heinioes [sydd] megis diddim yn dy olwg
di; dïau mai cwbl wagedd [yw] pob dyn byw.
Selah.
o 1Cor.7 6 [o] Dyn yn ddïau sydd yn rhodio mewn cys-
31 Iago 4,14 cod, ac yn ymdrafferthu yn ofer; efe a dyrra
Luc12,20 [olud,] ac ni's gŵyr pwy ai cascl.
7 Ac yn awr beth a obeithiaf O Arglwydd;
fyng-obaith sydd ynot ti.
p Sal. 44 8 [p] Gwaret fi o'm holl gamweddau: [ac] na
1 osot fi yn wradwydd i'r ynfyd.
q Lef. 10 9 [q] Aethum yn fud, [ac] nid agorais fyng-enau;
3 canys ti a wnaethost [hyn.]
10 Tynn dy blâ oddi wrthif; [canys] gan
ddyrnod dy law y darfûm i.
11 [Pan] gospit ddyn â cheryddon am anwir-
edd, dattodit fel gwyfyn ei ardderchawgrwydd
ef; gwagedd am hynny [yw] pob dyn. Selah.
r Heb. 11 12 [r] Gwrando fyng-weddi Arglwydd, a chlyw
13 Gen.47,9 fy llef, na thaw wrth fy wylofain; canys ym-
deithudd ydwyf gyd â thi, ac alltud fel fy holl
dadau.
s Preg.12 13 [s] Paid ti â mi, fel y cryfhauwyf cyn fy
5 myned; ac na byddwyf [mwy.]

## PSALM XL.

*Psalm Dafydd at y Pen-cerdd.*

t Salm 37 DISGWILIAIS [t] yn ddyfal am yr Ar-
7 Heb. 5,7 glwydd, ac efe a ostyngodd [ei glust]
attaf; ac a glybu fy llefain.
u Sal. 22 2 [u] Cyfododd fi hefyd o'r pydew terfysgus
1 Phil. 2,8 allan o'r pridd tomlyd; ac a osododd fy nhraed
9 ar graig, gan hwylio fyng-herddediad.
v Dat. 14 3 a 11,11 3 [v] A rhoddodd yn fyng-enau ganiad newydd
o foliant i'n Duw ni; llawer a welant [hyn,] ac a
ofnant, ac a ymddyriedant yn yr Arglwydd.
4 [w] Gwyn ei fyd y gŵr yr hwn a osodo'r Ar- w Ier. 17 7
glwydd yn ymddyried iddo; ac ni thrŷ at feilch- Salm 101
ion, nac at y rhai a droant at gelwydd. 3 a 125, 4
5 [x] Lluosog y gwnaethost ti fy Arglwydd x Eph. 3
Dduw dy ryfeddodau, a'th amcannion i ni, ni 18
[ellir] yn drefnus eu cyfrif [hwynt] i ti; mi ai
mynegwn, ac [ai] traethwn [hwynt,] [eithr] aml-
ach ydynt nag y gellir eu rhifo hwynt.
6 [y] Aberth a bwyd offrwm ni's ewyllysiaist, y Heb. 10 5
[eithr] agoraist i'm glustiau; poeth offrwm a 2 Cor. 5
phech aberth ni's gofynnaist. 21
7 [z] Yna y dywedais, Wele'r ydwyf yn dyfod, z Heb. 10 5
yn rhol y llyfr yr scrifennwyd am danaf. Act. 24 44
8 [a] Ewyllysiais wneuthur dy fodd fy Nuw; a'th a Phil. 2 5
gyfraith [sydd] o fewn fyng-halon. Luc 22
9 [b] Pregethais [dy] gyfiawnder yn y gynnull- 44 b Rhuf. 3
eidfa fawr; wele nid attaliaf fyng-wefusau, ti 21
Arglwydd ai gwyddost. a 1, 18
10 [c] Ni chuddiais dy gyfiawnder o fewn fyng- c Salm 119, 11
halon, treuthais dy wirionedd a'th iechydwr-
iaeth; ni chelais dy drugaredd na'th wirionedd
yn y gynnulleidfa luosog.
11 [d] Tithe Arglwydd nac attal dy drugaredd- d Sal. 57
au oddiwrthif; cadwed dy drugaredd, a'th wir- 3
ionedd fi byth
12 Canys drŷgau aneirif a gylchynasant o'm
hamgylch, fy mhechodau a'm daliasant fel na
allwn edrych [i fynu:] amlach ydynt na gwallt
fy mhen, am hynny y pallodd fyng-halon gennif.
13 Rhynged bodd it Arglwydd fyng-waredu;
brysia Arglwydd i'm cymmorth.
14 [e] Cyd-gywilyddier, a gwradwydder y rhai e Salm 35
a geisiant fy enioes iw difetha, troer yn eu hôl, 4,6 a 70,3
a chywilyddier y rhai a ewyllysiant i mi ddrwg.
15 [f] Diffeithier yn lle gobrwy eu gwaradwydd, f Salm 46
y rhai a ddywedant wrthif, Ffei, ffei. 8 a 73, 19
16 Llawenyched, ac ymhyfryded ynot ti y rhai
oll a'th geisiant di; dyweded y rhai a garant
dy iechydwriaeth bob amser, Mawryger yr
Arglwydd.
17 [g] Er fy mod i yn wann, ac yn druan, yr g Salm 39
Arglwydd a feddwl am danaf, fyng-hymmorth 18 Gen. 8,1
a'm gwaredudd [ydwyt] ti; fy Nuw na hir driga.

## PSALM XLI.

*Psalm Dafydd at y Pen-cerdd.*

GWYN ei fyd a ystyria wrth y tlawd, yr Pryd-
Arglwydd ai gwared ef yn amser adfyd. nawnol weddi.
2 [h] Yr Arglwydd ai ceidw, ac ai bywhâ, gwyn- h Esa. 58
fydedic fydd ar y ddaiar; na ddod tithe ef wrth 9, 21 1 Tim. 6
ewyllys ei elynnion. 8 Mat. 6,33
3 [i] Yr Arglwydd ai nertha ef ar ei glaf-wely; i Esa. 38
cyweiri ei holl wely ef yn ei glefyd. 2
4 [j] Mi a ddywedais, Arglwydd trugarhâ wrth- j 2 Cron. 30, 20
if; iachâ fy enaid, canys pechais i'th erbyn. Salm 147 3 a 6, 2

5 Fyng-elynnion a lefarent ddrwg am danaf
[gan ddywedyd,] Pa bryd y bydd efe farw, ac
y derfydd am ei enw ef?
kSal.12,2 6 k Ac os daw i'm hedrych efe a ddywed gel-
Diar. 26 wydd, ei galon a gascl ynddo anwiredd; efe a
24 25,26 aiff allan, [ac ai] traetha.
7 Fy holl gaseion a gyd-hustyngant i'm her-
byn; [ac] a ddychymmygant ddrwg i mi.
8 Aflwydd a dywalltwyd arno ef; a'r hwn sydd
yn gorwedd ni chyfyd mwy.
l Ioan 13 9 l Hefyd y gŵr annwylaf gennif, yr hwn yr
18 Salm 55 ymddyriedais iddo, [ac] a fwytaodd fy mara, a
13 2Sam. 15 dderchafodd [ei] sodl i'm herbyn.
12 Ier. 20,10 10 Eithr ti Arglwydd trugarha wrthif, a chyf-
ot fi, fel y talwyf iddynt.
m Salm 86, 17 11 m Wrth hyn y gwn hoffi o honot fi; am na
chaiff fyng-elyn orfolaethu i'm herbyn.
12 Ond am danaf fi yn fy mherffeithrwydd i'm
cynheli, ac i'm gosodi ger dy fron yn dragywydd.
13 Bendigedic fyddo Arglwydd Dduw Israel o
dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, Amen,
Amen.

## PSALM XLII.

*Athrawiaeth at y Pen-cerdd o feibion Corah.*

n Salm 119, 131 FEL n y brefa'r hŷdd am yr afonydd dyf-
roedd; felly'r hiraetha fy enaid am danat
ti O Dduw.
o Ioan 7, 37 2 o Sychedic yw fy enaid am Dduw, [sef] am
Dduw byw; pa bryd y deuaf, ac yr ymddangos-
af ger bron Duw?
p Salm 102, 9 3 p Fy neigr oedd fwyd i'm ddydd a nôs; pan
112, 8 ddywedyd wrthif bob dydd, Pa le [y mae] dy
Dduw?
Galar. 4 q Tywalltwn fy enaid wrthif fy hun pan gof-
19 23,14 iwn hynny; [sef] mai gyd a'r gynnulleidfa'r awn,
ac y cerddwn gyd â hwynt hyd tŷ Dduw mewn
sain cân, a moliant, [fel] tyrfa yn cadw gŵyl.
Rhuf.5 5 r Pa ham fy enaid i'th ddarostyngir, ac yr
alar. 3 ymderfysci ynof? gobeithia yn Nuw, oblegit
moliannaf ef etto [am] iechydwriaeth ei wyneb-
pryd.
2Cron. 6 s Fy Nuw, fy enaid a ymddarostwng ynof:
, 18 am hynny y cofiaf di o dir yr Iorddonen, a
Hermon y mynydd bychan,
alm 88 7 t Dyfnder a eilw ar ddyfnder, wrth sŵn dy
18, 4 bistylloedd di: dy holl donnau a'th lifeiriant a
b 1, 16 aethant trosofi.
Mat. 8 8 u Yr Arglwydd a orchymyn i mi ei drugar-
cut.28, edd liw dydd, ai gân liw nos, [sef] gweddi ar
Dduw fy enioes.
l. 38,7 9 Dywedaf wrth Dduw fyng-hadernid, Pa
ham yr anghofiaist fi, pa ham y rhodiaf yn
alarus trwy orthrymder y gelyn?
10 [Taro] â chleddyf trwy fy escyrn [y mae]
fyng-wrthwyneb-wŷr am gwradwyddent, pan
ddywedant wrthif bob dydd, Pa le [y mae] dy
Dduw?
11 Pa ham i'th ddarostyngir fy enaid? a pha
ham y terfysci ynof? ymddyriet yn Nuw, canys
etto y moliannaf ef, [sef] iechydwriaeth fy
wyneb, a'm Duw.

## PSALM XLIII.

BARN v fi O Dduw, a dadle fy nadl, yn v1Pedr4
erbyn y genhedlaeth anrhugarog: gwaret 19 Salm 26
fi rhag y dyn twyllodrus, ac anwir. 1
2 w Canys ti [ydwyt] Dduw fy nerth, paham w Esa.26
i'm ffieiddiaist? pa ham yr âf [mor] alarus 4 Salm 36
trwy orthrymder y gelyn? 13
3 x Anfon dy oleuni, a'th wirionedd, tywysant x Salm 27
hwy fi, ac arweiniant fi i fynydd dy saucteidd- 1 a 119,49
rwydd, ac i'th bresswylfod. a 2, 6 Heb. 9,2 3
4 y Yna'r âf at allor Duw, at Dduw hyfrydwch y Esa. 38
fyng-orfoledd, ac mi a'th foliannaf ar delyn O 22
Dduw, fy Nuw.
5 z Pa ham i'th ddarostyngir fy enaid? a pha z Salm 42
ham y terfysci ynof? gobeithia yn Nuw, canys 5
etto y moliannaf ef, [sef] iechydwriaeth fy wyneb,
a'm Duw.

## PSALM XLIV.

*Athrawiaeth at y Pen-cerdd o feibion Corah.* Botenol weddi.

DUW a clywsom a'n clustiau, ein tadau a
fynegasant i ni y gweithredoedd a wnaeth- a Salm 78
ost yn eu hamser hwynt, yn y dyddiau gynt. 3 Ex. 12,26
2 b Ti a'th law a orescynnaist y cenhedloedd, Rhuf. 15 4
ac ai plennaist hwythau, ti a ddygaist y bôbl- b Deut. 7.
oedd, ac ai cynnyddaist hwythau. 1 Ezra 9,15
3 c Canys nid ai cleddyf eu hun y gorescynas- c Deut. 8
ant y tir, nid eu braich a barodd iechydwriaeth 17 Hos. 1,7
iddynt, eithr dy ddeheu-law di, a'th fraich, a Deut.7,7 a 9, 4
llewyrch dy wyneb, o herwydd it eu hoffi hwynt. Mat. 11 26
4 d Ti Dduw yw fy Mrenin: gorchymyn iech- d Salm 48
ydwriaeth [i] Iacob. 8
5 e Ynot ti y difethwn ni ein gelynnion: yn e Mal.4,1
dy enw di y sathrwn y rhai a gyfodant i'n 2 Dat. 14,
herbyn. 19
6 f O herwydd nid yn fy mwa'r ymddyriedaf, f Salm 20
nid fyng-hleddyf hefyd a'm hachub. 7
7 Eithr ti a'n hachubaist ni oddi wrth ein
gwrthwyneb-wyr, ac a wradwyddaist ein
caseion:
8 g Am hynny y moliannwn Dduw bob dydd: g Salm 71
ac y clodforwn dy enw yn dragywydd. Selah. 1
9 h Ond ti a giliaist, ac a'n gwradwyddaist ni, h Lef. 26
ac nid wyt yn myned allan gyd a'n lluoedd ni. 15,16 Esa. 59,2
10 Gwnaethost i ni droi yn ol oddi wrth y
gelyn: a'n caseion a anrhaithiasant [ein da ni]
iddynt eu hun.
11 Rhoddaist ni fel defaid iw bwytta, a gwasc-
eraist ni ym mysc y cenhedloedd.
12 i Gwerthaist dy bobl heb elw, ac ni chwaneg- i Deut.32
aist [olud] oi gwerth hwynt. 30 Esa. 43,3
13 Gosodaist ni yn warthrudd i'n cymmydog-

ion, yn watwargerdd, ac yn ddiystyrwch ym
mhlith y rhai ydynt o'n hamgylch.
j Deut. 28 14 ʲ Gosodaist ni yn ddihareb ym mysc y cen-
37 hedloedd, [ac] yn rhai i esgwyd pen arnynt ym
Salm 22 mysc y bobloedd.
15 Fyng-warthrudd [sydd] beunydd ger fy
mron, a chywilydd fy wyneb a'm todd.
k Salm 8 16 ᵏ Gan lais y gwarthrudd-wr, a'r cabl-wr, o
2 herwydd y gelyn, a'r ymddial-wr.
l 2 Tim. 3 17 ˡ Hyn oll a ddaeth arnom: etto ni'th ang-
12 hofiasom di, ac ni buom anffyddlon yn dy gyf-
ammod.
m 1 Ioan 18 ᵐ Ni throdd ein calon yn [ei] hôl, ac ni lith-
3, 20 rodd ein cerddediad o'th lwybr di.
a 5, 4
Phil. 1, 28 19 Er i ti ein cûro i drig-fa dreigiau, a thoi
a 3, 19
2 Pedr 3 trosom â chyscod angeu.
6
n 2 Tim. 20 ⁿ Os anghofiasom enw ein Duw: neu estyn
4, 10
o Ier. 17 ein dwylo at Dduw dieithr:
9, 10 21 ᵒ Oni chwilia Duw hyn allan? canys efe a
Sal. 11, 4 ŵyr ddirgeloedd calon.
p Dat. 8 22 ᵖ O herwydd mai er dy fwyn di i'n lleddir
36
Mat. 5, 10 beunydd, [ac] i'n cyfrifir fel defaid iw lladd:
1 Pedr 4 23 ᑫ Cyfot i fynu, pa ham y cysci O Arglwydd?
14
q Salm 7 deffro, na chilia yn dragywydd.
6
r Marc 7 24 ʳ Pa ham y cuddi dy wyneb, [ac] yr ang-
24 hofi ein cystudd, a'n gorthrymder?
s Galar 3 25 ˢ Canys gostyngwyd ein henaid i'r llwch:
29
Salm 119 glynodd ein bol wrth y ddaiar.
2
26 Cyfot yn gynnorthwy i ni, ac gwaret ni er
mwyn dy drugaredd.

## PSALM XLV.

*At y Pen-cerdd ar y chwe-thant o feibion Corah, Can cariadau er athrawiaeth.*

t Can. 3 TRAETHODD ᵗ fyng-halon beth da, dy-
11 wedyd yr ydwyf [am] fyng-weithredoedd
i'r Brenin, fy nhafod [sydd fel] pin scrifennydd
buan.
u Ioan 1, 2 ᵘ Tegach ydwyt na meibion dynnion, ty-
36
Can. 5, 16
Luc 4, 22 walltwyd rhâd ar dy wefusau, o herwydd i
Salm 118 Dduw dy fendithio di yn dragywydd.
26
3 ᵛ Gwregysa dy gleddyf ar dy glûn O gadarn,
v Dat. 19
11 [sef] dy ogoniant, a'th harddwch.
Esa. 9. 6
w Dat. 6 4 ʷ Llwydda hefyd a'th ogoniant, marchog di
2 ar air y gwirionedd, a lledneisrwydd [a] chyf-
Ioan 14, 6
Mat. 11 iawnder: a'th ddeheu-law a ddysc i ti [bethau]
29
Esa. 12, 2 ofnadwy.
Dat. 14 5 ˣ Pobl a syrthiant tanat: [o herwydd] dy
x Luc 19 saethau llymmion [yn glynu] yng-halon gelynn-
27
ion y brenin.
y Dat. 3 6 ʸ Dy orsedd di O Dduw a [beru] byth, ac yn
21 dragywydd: teyrn-wialen iniondeb [yw] teyrn-
wialen dy frenhiniaeth di.
z Ioan 3 7 ᶻ Ceraist gyfiawnder, a chaseaist ddrygioni:
34 am hynny i'th eneiniodd Duw, [sef] dy Dduw
di ag olew llawenydd yn fwy na'th gyfeillion.
a Can. 4 8 ᵃ [Arogl] Myrr, Aloes, [a] Chasia [sydd ar]

dy holl wisgoedd: [pan ddelech] o'r palasau
Ifori: lle i'th lawenhausant.
9 ᵇ Merched brenhinoedd [oedd] ym mhlith b Dat. 21
dy bendefigesau, safe y frenhines ar dy ddeheu- 9
law mewn aur coeth o Ophir.
10 Gwrando ferch, a gwêl hefyd, a gostwng
dy glust: anghofia dy bobl, a thŷ dy dâd.
11 ᶜ A'r brenin a chwennych dy degwch: ca- c Can. 1
nys efe yw dy Iôr di: ymostwng dithe iddo ef. 14 Eph. 1, 18
12 Merch Tyrus hefyd [a] chyfoethogion y a 6, 17
bobl a ymbiliant a'th wyneb ag anrheg.
13 Merch y brenin [sydd] oll yn anrhydeddus
o fewn: gem-waith aur [yw] ei gwisc hi.
14 ᵈ Mewn gwaith edyf a nodwydd y dygir hi d Dat. 19
at y brenin: y morwynion [y rhai a ddenant] ar 8
ei hôl yn gyfeillesau iddi a ddygir attat ti.
15 ᵉ Mewn llawenydd, a gorfoledd y dygir e Ier. 31
hwynt, [ac] y deuant i lŷs y brenin. 11 Ioan 14, 2
16 ᶠ Dy feibion fyddant yn lle dy dadau: go- f Gal. 4
sodi hwynt yn dywysogion ym mhob gwlâd. 26 Luc 22, 29
17 Coffâf dy enw ym mhob cenhedlaeth, ac
oes: am hynny y bobl a'th foliannant byth, ac
yn dragywydd.

## PSALM XLVI.

*At y Pen-cerdd o feibion Corah cân gyd a'r Alamoth.*

DUW ᵍ sydd obaith, a nerth i ni, hawdd ei g Esa. 44
gael mewn cyfyngder. 5 Gen. 8
2 ʰ Am hynny nid ofnem pe syfle y ddaiar, a 15 h 1 Pedr 3
phe symmude y mynyddoedd i ganol y môr. 14 Hab. 3, 17
3 ⁱ [Pe] terfysce, a chymmysce ei ddyfroedd, i Salm 93
[pe] cynhyrfe y mynyddoedd gan ei fordwy ef. 34 Esa. 57
Selah. 20
4 ʲ Ffrydiau ei afon ef a lawenhânt ddinas Dduw: j Esa. 4, 6
[sef] cyssegr presswylfeudd y Goruchaf. a 60, 14 1 Pedr 2
5 ᵏ Duw [sydd] oi mewn hi, nid yscog hi: 18 k Dat. 21
Duw ai cynnorthwya yn foreu iawn. 3 Mat. 28
6 ˡ Y cenhedloedd a derfyscâsant, y teyrnas- 20 l Dat. 11
oedd a yscogâsant [pan] roddes efe ei lef, todd- a 4
odd y ddaiar.
7 ᵐ [Y mae] Arglwydd y lluoedd gyd â ni: m 2 Cro.
[y mae] Duw Iacob yn amddeffynfa i ni. Selah. 13, 12
8 ⁿ Deuwch, gwelwch weithredoedd yr Ar- n Salm
glwydd pa anghyfannedd-dra a osododd efe ar 111, 2 Gen. 7
y ddaiar.
9 ᵒ Gwnaiff i ryfeloedd beidio hyd eithaf y o Esa.
ddaiar, efe a ddryllia'r bwa, ac a dyrr y waiw- 4
ffon, [ac] a lysc y cerbydau â thân.
10 ᵖ Peidiwch, a gwybyddwch mai myfi [sydd] p Salm
Dduw: derchefir fi ym mysc y cenhedloedd,
derchefir fi ar y ddaiar.
11 [Y mae] Arglwydd y lluoedd gyd â ni:
amddeffynfa i ni [yw] Duw Iacob. Selah.

## PSALM XLVII.

Prydnawnol weddi.

*Psalm at y Pen-cerdd o feibion Corah.*

YR ᑫ holl bobl curwch ddwylo: llafar gen- q Dat. 19, 1
wch i Dduw â llef gorfoledd.

2 Canys yr Arglwydd goruchaf sydd ofn-
adwy: [a] brenin mawr ar yr holl ddaiar.
3 Efe a ddwg y bobl tanom ni: a'r cenhedl-
oedd tann ein traed.
4 Efe a ddethol ein etifeddiaeth i ni, sef ar-
dderchawgrwydd Iacob, yr hwn a hoffodd efe.
Selah.
5 Derchafodd Duw mewn gorfoledd, [sef] yr
Arglwydd â sain udcorn.
6 Cenwch, cenwch i Ddnw: cenwch, cenwch
i'n Brenin.
7 Canys Brenin yr holl ddaiar [yw] Duw:
cenwch yn ddeallus.
8 Teyrnasodd Duw ar y cenhedloedd: eis-
teddodd Duw ar orsedd-faingc ei sancteidd-
rwydd.
9 Pendefigion y bobl a ymgasclâsant at bobl
Duw Abraham: canys tariannau y byd [ydynt]
eiddo Duw, dirfawr y derchafwyd ef.

## PSALM XLVIII.

*Cân neu Psalm i feibion Corah.*

MAWR [yw'r] Arglwydd, a thra molian-
us yn ninas ein Duw ni, [sef yn] ei fy-
nydd sanctaidd.
2 Tegwch bro [a] llawenydd yr holl wlâd [yw]
mynydd Sïon [yn] ystlysau y gogledd: [sef]
dinas y Brenin mawr.
3 Duw yn ei phalâsau a adwaenir yn am-
ddeffynfa.
4 Canys wele y brenhinoedd a ymgyfarfuant:
[ac] a aethant yng-hyd.
5 Hwynt a welsant, felly y rhyfeddâsant:
brawychasant [ac] aethant ymmaith ar ffrwst.
6 Dychryn a ddaeth arnynt hwy yno, [a] do-
lur megis gwraig yn escor.
7 A gwynt y dwyrain y drylli longau y môr.
8 Megis y clywsom, felly y gwelsom yn ninas
Arglwydd y lluoedd, [sef] yn ninas ein Duw
ni: Duw ai siccrhâ hi yn dragywydd. Selah.
9 Disgwiliasom O Dduw am dy drugaredd
o fewn dy Deml.
10 Megis [y mae] dy enw O Dduw, felly
[y mae] dy fawl hyd eithafoedd y tir: cyflawn o
gyfiawnder yw dy ddeheu-law.
11 Llawenyched mynydd Sïon: ac ymhyf-
ryded merched Iuda, o herwydd dy farnedig-
aethau.
12 Amgylchwch Sïon, a chylchynwch hi,
rhifwch ei thyrau hi.
13 Ystyriwch ar ei magwyr, cadarnhewch
ei phalasau, fel y mynegoch i'r oes a ddelo yn ol.
14 Canys y Duw hwn [yw] ein Duw ni byth,
ac yn dragywydd; efe a'n tywys ni hyd angeu.

## PSALM XLIX.

*Psalm at y Pen-cerdd o feibion Corah.*

CLYWCH hyn yr holl bobloedd, gwran-
dewch [hyn] holl drigolion y byd.
2 Yn gystal gwreng a boneddigion, cyfoethog
a thlawd yng-hyd.
3 Fyng-enau a draetha ddoethineb: a myfyr-
dod fyng-halon [fydd am] ddeall.
4 Gostyngaf fyng-hlust at ddihareb, fy nam
meg a ddatganaf gyd a'r delyn.
5 Pa ham yr ofnaf yn amser adfyd, [pan] ym-
gylchyno anwiredd fy sodlau i?
6 Rhai a ymddyriedant yn eu golud: ac a
ymffrostiant yn lluosogrwydd eu cyfoeth.
7 Gan waredu ni wareda neb [ei] frawd: [ac]
ni all efe roddi iawn trosto ef i Dduw.
8 (Canys gwerth-fawr yw prynniad eu heneid,
fel y gorfyddo peidio [â hynny] byth.
9 Fel y byddo efe byw byth, ac na weld'r
bedd,
10 Canys efe a wêl fod y doethion yn meirw,
y cyd-dderfydd am ffôl, ac ynfyd: ac y gadaw-
ant eu golud i eraill:
11 Eu meddwl [yw y peru] eu tai yn dragy-
wydd, ai trigfeudd hyd genhedlaeth, a chen-
hedlaeth: [am hynny] yr henwasant eu henwau
eu hun ar eu tiroedd.
12 Eithr nid erys dyn mewn anrhydedd: te-
byg yw i anifeiliaid a ddifethir.
13 Dymma eu ffordd yn ynfydrwydd iddynt:
etto eu hiliogaeth ydynt fodlon i'w hymadrodd.
Selah.
14 Fel defaid y gosodir hwynt yn uffern,
angeu a ymborth arnynt, a'r rhai cyfiawn ai lly-
wodraethant y boreu: ai tegwch [aiff] i ddar-
fod i'r bedd oi cartref.
15 Etto Duw a wared fy enaid o feddiant
uffern: canys efe a'm derbyn i. Selah.
16 Nac ofna pan gyfoethogo un, pan chwanego
gogoniant ei dŷ ef.
17 Canys wrth farw ni ddwg efe ddim, ac ni
ddescyn ei ogoniant ar ei ol ef.
18 O herwydd yn ei fyw iddo wneuthur yn
fawr am ei einioes: can-molant dithe o byddi
dda wrthit dy hun.
19 Efe a aiff at genhedloedd ei dadau, [ac]
ni welant oleuni byth.
20 Dyn mewn anrhydedd, ac heb ddeall a gy-
ffelybir i anifeiliaid a ddifethir.

## PSALM L.

*Psalm Asaph.*

DUW y duwiau, [sef] yr Arglwydd a le-
farodd, ac a alwodd y ddaiar o godiad
haul hyd ei fachludiad.
2 O Sïon [mewn] perffeithrwydd tegwch y
llewyrchodd Duw.
3 Ein Duw ni a ddaw, ac ni bydd ddistaw,
tân a yssa oi flaen ef: a themhestl fydd oi am-
gylch ef yn ddirfawr.
4 Geilw am y nefoedd oddi uchod: ac am y
ddaiar i farnu ei bobl.

c Esa. 13, 3 5 ^c Cesclwch fy saincț attafi, y rhai a wnaethant gyfammod â mi trwy aberth.
Heb. 7, 8
9
d 2 Tim. 4, 1 6 ^d A'r nefoedd a fynegant ei gyfiawnder ef, canys Duw ei hun [sydd] farn-wr. Selah.
7 Clywch fy mhobl, a mi a lafaraf, testiolaethaf i'th erbyn dithe Israel: Duw [sef] dy Dduw di [ydwyf] fi.
e Ier. 7, 22 8 ^e Nid am dy aberthau i'th geryddaf, na'th boeth offrymmau [am nad oeddynt] ger fy mron i yn wastad.
9 Ni chymmeraf fustach o'th dŷ, na bychod o'th gorlannau.
f Salm 24, 1 10 ^f Canys holl fwyst-filod y coed ydynt eiddo fi: [a'r] anifeiliaid ar fil o fynyddoedd.
11 Adwen holl adar y mynyddoedd: a gwyllt anifeiliaid y maes [ydynt] gydâ mi.
12 Os bydd newyn arnaf ni ddywedaf i ti: canys y byd ai gyflawnder [sydd] eiddo fi.
g Ioan 4, 24 13 ^g A fwyttafi gig teirw? neu a yfaf fi waed bychod?
Esa. 66, 3
h Heb 13, 15 14 ^h Abertha foliant i Dduw, a thâl i'r Goruchaf dy addunedau.
i Iago 5, 13 15 ^i A galw arnafi yn nydd trallod, [yna] i'th waredaf, a thi a'm gogoneddi.
Zec 13, 9
Luc 1, 74
j Esa. 1, 11 16 ^j Ond wrth yr annuwiol y dywedodd Duw, Beth [sydd] i ti a fynegech ar fy neddfau mau
Mat. 7, 3
fi? ac a gymmerech ar fyng-hyfammod yn dy enau?
17 Canys ti a gaseaist addysc, ac a deflaist fyng-eiriau i'th ol.
k Ioan 10, 10 18 ^k Pan welaist leidr, rhedaist gyd âg ef: a'th gyfran [oedd] gyd â'r godineb-wyr.
Eph. 5, 12
1 Tim. 5, 22
l 1 Pedr 3, 9 19 ^l Gollyngaist dy safn i ddrygioni, ac â'th dafod y cyd-blethaist ddichell.
20 Eisteddaist, [a] dywedaist yn erbyn dy frawd: rhoddaist enllib i fab dy fam.
m Rhuf. 2, 4 21 ^m Hyn a wnaethost, a mi a dewais, tybiaist
2 Pedr 3, 4 dithe fy mod yn gwbl fel ti dy hun: ond mi a'th
Dat. 20, 12 argyoeddaf, ac a osodaf [yr hyn a wnaethost] o flaen dy lygaid.
n Dat. 6, 16 22 ^n Dehallwch hyn yn awr, y rhai ydych yn anghofio Duw, rhag i mi [eich] rhwygo, ac na [byddo] gwaredudd.
o Esa. 8, 20 23 ^o Yr hwn a abertha foliant a'm gogonedda
Gal. 6, 6 fi: a'r neb a osodo ei ffordd [yn iawn] dangosaf iddo iechydwriaeth Dduw.

## PSALM LI.

*Psalm Dafydd at y Pen-cerdd, pan ddaeth Nathan y Prophwyd atto ef, wedi iddo ef fyned i mewn at Bethseba.*

p Eph. 1, 6 TRUGARHA ^p wrthif O Dduw yn ol dy drugarogrwydd: yn ol lliaws dy dosturiaethau delea fy anwireddau.
q 1 Ioan 1, 7 2 ^q Golch fi yn llwyr-ddwys oddiwrth fy anwiredd: a glanha fi oddi wrth fy mhechod.
r 1 Ioan 1, 9 3 ^r Canys adwen fyng-hamweddau: â'm pech-
Salm 38, 3 od sydd yn wastad ger fy mron.
4 ^s Yn dy erbyn di dy hunan y pechais, ac y s 2Sam. 12, 13
gwnaethum yr hyn oedd ddrwg yn dy olwg Rhuf. 3, 4
di: fel i'th gyfiawnhaer pan leferech, [ac] y byddit bur pan farnech.
5 ^t Wele mewn anwiredd i'm lluniwyd, ac t Rhuf. 3, 17
mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf.
6 ^u Wele ceraist wirionedd oddi mewn: a u Diar. 11, 20
pheri i mi wybod doethineb yn ddirgel.
7 ^v Glanha fi ac Yssop, a mi a lanheuir: golch v Lef. 14, 4, 5
fi, a byddaf wynnach na'r eira. Eph. 5, 2
8 ^w Par di i mi glywed gorfoledd, a llawenydd, w Act. 16, 14
[fel] y llawenycho'r escyrn a ddrylliaist di. Mat. 5, 4
9 ^x Cuddia dy wyneb oddi wrth fy mhechod- x Ier. 16, 17
au: a delea fy holl anwireddau.
10 ^y Crea galon lân ynof O Dduw, ac adnew- y Eph. 2, 10
ydda yspryd iniawn o'm mewn. Act. 11, 23
11 ^z Na fwrw fi ymmaith oddi ger dy fron: z 2 Thes. 2, 9
ac na chymmer dy Ysbryd sanctaidd oddi Luc 11, 13
wrthif.
12 ^a Dwg trachefn i mi orfoledd dy iechydwr- a Eph. 4, 30
iaeth: ac a'th hael Yspryd cynnal fi. Rhuf. 8, 15
13 ^b Dyscaf dy ffyrdd i rai anwir: a phechad- b Luc 23, 33
uriaid a droant attat.
14 ^c Gwaret fi oddi wrth waed O Dduw [sef] c 2 Sam. 11, 17
Duw fy iechydwriaeth: a'm tafod a gân o'th Phil. 3, 9
gyfiawnder.
15 Arglwydd agor fyng-wefusau, a'm genau a fynega dy foliant.
16 Canys ni chwennychi aberth, pe amgen, mi ai rhoddwn, [a] phoeth offrwm ni fynni.
17 ^d Aberthau Duw [ydynt] yspryd drylliedig: calon ddryllioc gystuddiedic O Dduw ni ddirmygi. d Ioan 6, 28 Esa. 57, 15
18 ^e Bydd dda wrth Sïon o herwydd dy ewyllyscarwch: adailada furau Ierusalem. e 2 Sam. 12, 14 Eph. 1, 9, 11
19 ^f Yna y byddi foddlon i ebyrth cyfiawnder Dat. 21, 14
[sef] poeth offrwm, ac abyrth llosc: yna'r off- f Eph. 1, 6
rymmant fustych ar dy allor.

## PSALM LII.

*Athrawiaeth Dafydd at y Pen-cerdd: pan ddaeth Doeg yr Edomiad, a mynegu i Saul, a dywedyd wrtho ef, Dafydd a ddaeth i dŷ Ahimelech.*

PA ^g ham yr ymffrosti O gadarn mewn g 1 Sam 22, 18
drygioni? [gan fod] trugaredd Dduw Ioan 19, 10
beunydd. Rhuf. 8, 31
2 ^h Dy dafod a ddychymmyg scelerder: [ac] h Est 8, 5
fel ellyn llym sydd yn gwneuthur twyll. Diar. 30, 14
3 ^i Hoffaist ddrygioni yn fwy na daioni: [a] i Ier 4, 22
chelwydd yn fwy na thraethu cyfiawnder. Selah. a 9, 3, 5
4 ^j Hoffaist bob geiriau destruw O dafod j Iago 3, 6
twyllodrus.
5 ^k Duw a'th ddestruwia dithe yn dragywydd, k Iago 3, 13
a'th ddryllia, ac a'th ddelea o'th babell: ac a'th Iudas 13
ddiwreiddia o dir y bywyd. Selah.
6 ^l Y cyfiawn a welant [hyn,] ac a ofnant, ac a l Mal 1, 5 a 5, 10
chwarddant am ei ben [gan ddywedyd,] Dat 15, 4

a Luc 16 15 7 a Wele'r gŵr ni osododd Dduw yn gadernid
iddo: eithr ymddyriedodd yn lluosogrwydd ei
olud, ac ymnerthodd yn ei ddrygioni.
a Ier. 11 16 8 a Minne a [fyddaf] fel oliwydden werdd yn
nhŷ Dduw: ymddyriedais yn nhrugaredd Duw
byth ac yn dragywydd.
9 Clodforaf di yn dragywydd, o herwydd i ti
wneuthur [hyn:] gobeithiaf hefyd yn dy enw:
canys da yw [hyn] ger bron dy sainct.

## PSALM LIII.

Pryd-mawnol wedd. *At y Pen-cerdd ar y Machaloth, Athrawiaeth Dafydd.*

a Salm 14 1 a 3, 17. Rhu 3, 4 DYWEDODD a yr ynfyd yn ei galon, Nid
[oes] Duw: ymlygrasant a gwnaethant
ffieidd anwiredd, nid [oes un] yn gwneuthur
daioni.
2 Edrychodd Duw i lawr o'r nefoedd ar feib-
ion dynnion, i edrych a [oedd neb] yn ddeallus,
[ac] yn ceisio Duw.
3 Ciliasé pob un yn wysc ei gefn, cyd ym-
ddifwynasent, nid oedd a wnele ddaioni nac
[oedd] un.
p Rhuf. 3 20 a 2, 11. Ioan 3, 19 4 p Oni wydde gweithred-wyr anwiredd [eu
bod] yn bwytta fy mhobl [fel] y bwytaent fara?
ni alwasant ar Dduw.
q Lef 26 5 5 q Yno'r ofnasant [gan] ofn, [lle] nid oedd ofn:
Deut. 28 65. Ecre. 6, 5 canys Duw a wascarodd escyrn yr hwn a'th
Galar. 3 4 warchaodd, gwradwyddaist [hwynt,] am i Dduw
eu gwrthod hwy.
6 Oh na roddit iechydwriaeth [i] Israel o Sïon,
pan ymchwelo Duw gaethiwed ei bobl, [yna] y
llawenycha Iacob, ac y gorfoledda Israel.

## PSALM LIV.

*At y Pen-cerdd ar y Neginoth, Athrawiaeth Dafydd: Pan ddaeth y Ziphiaid a dywedyd wrth Saul, Onid ydyw Dafydd yn ymguddio gyd â ni?*

r Sal. 59 8. a 63, 25 a 106, 8 ACHUB r fi O Dduw yn dy enw: a barna fi
yn dy gadernid.
2 Duw clyw fyng-weddi, gwrando ymadrodd
fyng-enau.
s Rhuf. 8 31 3 s Canys dieithriaid a gyfodasant i'm herbyn:
Sal. 10, 4 a chedyrn a geisiasant fy enaid, [y rhai] ni osod-
asant Dduw oi blaen. Selah.
t Rhuf. 8 31 4 t Wele Duw sydd yn fyng-hynnorthwyo:
'r Arglwydd [sydd] ym mysc y rhai a gynhal-
iant fy enaid.
u Diar. 11, 8 5 u Efe a dal ddrwg i'm gelynnion: torr di
Sal. 119 90 hwynt ymmaith yn dy wirionedd.
6 Aberthaf it yn ewyllysgar, clodforaf dy enw
O Arglwydd, canys da yw.
7 Canys efe a'm gwaredodd o bob trallod, a'm
llygad a welodd [ei wynfyd] ar fyng-elynnion.

## PSALM LV.

*At y Pen-cerdd ar y Neginoth, Athrawiaeth Dafydd.*

GWRANDO fyng-weddi O Dduw, ac nac
ymguddia rhag fy neisyfiad.
v Luc 22 4 2 v Gwrando arnaf ac erglyw fi, cwynfan yr
ydwyf yn fyng-weddi, a thuchan.
3 w Gan lais y gelyn, a chan orthrymder yr w 2 Sam. 17, 12 a 16, 5
annuwiol, o herwydd iddynt ddywedyd cel- Gen. 27 41
wydd arnaf, a'm gwrthwynebu yn llidioc.
4 Fyng-halon a ofidia o'm mewn: ac ofn angeu
a syrthiodd arnaf fi.
5 Ofn, ac arswyd a ddaeth arnaf: a dychryn
a'm gorchuddiodd.
6 A dywedais, O na bai i mi adenydd fel col-
ommen: [yna] 'r ehedwn, ac y gorphywyswn.
7 x Wele cyrwydrwn ym mhell, [ac] arhoswn x Deut. 18 6
yn yr anialwch. Selah. Ier. 9, 1
8 y Bryssiwn i ddiangc rhag y gwynt ystormus, y 2 Sam. 15, 14 a 17
a'r demhestl. 21
9 Dinistria O Arglwydd, [a] gwahan eu tafodau,
canys gwelais drawsder, a chynnen yn y ddinas.
10 z Dydd a nos yr ymgylchant hi ar ei mûr- z Esec. 22, 3
iau, ac [y mae] anwiredd a blinder oi mewn. Dat. 8, 8
11 Anwireddau [ydynt] oi mewn, ac ni chilia
twyll a dichell oi heolydd hi.
12 a Nid gelyn yn ddiau a'm difenwodd, can- a Sal. 12, 2 a 41, 9
ys dioddefaswn [hynny:] nid fyng-has-ddyn a
ymfawrygodd i'm herbyn, canys [ond odit] mi a
ymguddiaswn rhagddo ef.
13 b Eithr tydi fyng-hydymmaith, fy ffordd wr, b 2 Sam. 15, 12
a'm cydnabod. a 15, 12
14 Y rhai oedd felys gennym gyd gyfrinachu: Mica 7, 5
[ac] a rodiasom yn gymydeithgar yn nhŷ Dduw. Ier. 9, 4
15 Rhuthred marwolaeth arnynt: [fel] y des-
cynnant i uffern yn fyw, canys drygioni [sydd]
yn eu cartref oi mewn.
16 c Myfi a waeddaf ar Dduw, a'r Arglwydd c 1 Pedr 4, 19
a'm hachub i.
17 d Hwyr a boreu, a hanner dydd y gweddi- d Luc 18 1
af, a byddaf daer: ac efe a glyw fy lleferydd. 1 Thes. 5 17
18 Efe a waredodd fy enaid mewn heddwch
oddi wrth y rhyfel yr hwn [oedd] i'm herbyn:
canys llawer oedd gyd â mi.
19 e Duw a glyw, ac ai darostwng hwynt yr e Esa. 48 11
hwn sydd yn teyrnasu er ioed, Selah: am nad Sal. 73, 4 5
[oes] symmudiadau iddynt, am hynny nid ofn-
ant Dduw.
20 f Efe a estynnodd ei law yn erbyn y rhai f Act 12, 1 Salm 7, 4
oeddynt heddychlon ag ef, [ac] a dorrodd ei
gyfammod.
21 g Llyfnach oedd ei enau nag ymenyn: a g Salm 28
rhyfel yn ei galon, tyneraeh oedd ei eiriau nag Diar. 12 18
olew, a hwynt yn gleddyfau noethion.
22 h Bwrw dy ofal ar yr Arglwydd, ac efe a'th h 1 Pedr 5 7
faetha di, ni âd i'r cyfiawn syrthio byth.
23 Tithe Dduw ai descynni hwynt i bydew
llwgr: gwŷr gwaedlyd a thwyllodrus ni bydd-
ant byw hanner eu dyddiau, ond myfi a obeith-
af ynot ti.

## PSALM LVI.

*At y Pen-cerdd am y golommen fud o bell, euraid Psalm Dafydd: pan ddaliodd y Philistiaid ef yn Gath.*

Boreuol weddi. TRUGARHA wrthif O Dduw, canys dyn
a'm llyngce: beunydd yr ymladd, [ac]
i'm gorthrymma.
i Dat. 16 14 2 ⁱ Beunydd i'm llyngce fyng-elynnion, canys
Salm 94 8 llawer ydynt yn rhyfela i'm herbyn O [Dduw]
a 93, 4 goruchaf.
j 2 Cron. 20, 3 3 ʲ Y dydd yr ofnwn, mi a ymddiriedwn yn-
Salm 34, 4 ot ti.
k Ioan 5 39 4 ᵏ Duw a glodforaf [o herwydd] ei air, yn
Salm 119 Nuw y gobeithiaf, [ac] nid ofnaf beth a wnel
49, 92 cnawd i mi.
Heb. 13, 6 5 ˡ Beunydd i'm cystuddiant a'm geiriau fy
l Mat. 26 61 hun, eu holl feddyliau [ydynt] i'm herbyn er
Ioan 2, 13 drwg i mi.
6 Hwynt a ymgasclant, a lechant, [ac] a
wiliant fyng-hamrau, pan ddisgwiliant am fy
enaid.
7 A ddiangant hwy am [eu] hanwiredd? des-
cyn y bobloedd [hyn] O Dduw yn dy lidiawg-
rwydd.
m 1 Cor. 4, 11 8 ᵐ Ti a gyfrifaist fy symmudiad, gosot fy
Mal. 3, 16 nagrau yn dy gostrel: onid [yw hyn] yn dy
lyfr di?
9 Y dydd y llefwyf [arnat] yna y dychwelir
fyng-elynnion yn eu gwrthol: hyn a wn am[fod]
Duw gydâ mi.
10 Yng-air Duw y gorfoleddaf, yng-air yr
Arglwydd y gorfoleddaf.
11 Yn Nuw 'r ymddyriedais, nid ofnaf beth a
wnel dyn i mi.
12 Arnafi O Dduw [y mae] dy addunedau:
talaf i ti foliant.
n 2 Cor. 4 10 13 ⁿ Gan waredu o honot fy enaid rhag angeu,
Gen. 17, 1 a'm traed rhag llithro, fel y rhodiwyf ger bron
Ioan 8, 12 Duw yng-oleuni y rhai byw.

## PSALM LVII.

*Eurog Psalm Dafydd at y Pen cerdd.* Na ddifetha. *Pan ffôdd efe rhag Saul i'r ogof.*

o Sal. 61, 4 TRUGARHA ᵒ wrthif O Dduw, trugarha
a 91, 1 wrthif, canys ynot y gobeithiodd fy en-
Esa. 26 20 aid: ïe yng-hyscod dy adenydd y gobeithiaf,
hyd oni êl yr aflwydd [hyn] heibio.
p Phil. 1 6 2 ᵖ Galwaf ar Dduw goruchaf, [sef] ar y Duw
a gwplâ â mi.
q Salm 18 6 3 ᑫ Efe a enfyn o'r nefoedd, ac a'm gwared,
a 40, 11 [oddi wrth] warthrudd yr hwn a'm llyngce.
Eph 3, 19 Selah. Denfyn Duw ei drugaredd, ai wirionedd.
r Dan. 6 15 4 ʳ Fy enaid sydd ym mysc llewod, gorwedd
a 30, 14 yr wyf ym mysc dynnion poethion: a'i dannedd
fel gwaiw-ffyn, neu saethau, ai tafod fel cledd-
yf llym.
s Sal. 58 10 5 ˢ Ymddercha Dduw uwch y nefoedd: [a
bydded] dy ogoniant ar yr holl ddaiar.
t Salm 7 15, 16 6 ᵗ Darparasant rwyd i'm traed, crymmwyd
1 Sam. 23 fy enaid, cloddiasant bydew o'm blaen, [a] syrth-
26 iasant yn ei ganol. Selah.

7 ᵘ Parod yw fyng-halon O Dduw, parod yw u Salm 108, 1
fyng-halon: canaf, a chan-molaf. Neh. 9, 4 5
8 ᵛ Deffro fyng-ogoniant, deffro Nabl a thelyn, v Barn. 5 12
deffroaf yn foreu.
9 ʷ Clodforaf di Arglwydd ym mysc o bobl- Sal. 16, 9 a 30, 12
oedd: can-molaf di ym mysc y cenhedloedd. w Rhuf. 15, 9
10 ˣ Canys mawr [yw] dy drugaredd hyd y x Salm 36 5
nefoedd, a'th wirionedd hyd yr wybrau. Dat. 11
11 Ymddercha Dduw uwch y nefoedd: [a 66
bydded] dy ogoniant ar yr holl ddaiar.

## PSALM LVIII.

*At y Pen-cerdd, eurog Psalm Dafydd.* Na ddifetha.

AI ʸ cyfiawnder yn ddiau a draethwch chwi y Tit. 1, 16
gynnulleidfa? [ac] a fernwch chwi inion- Esa. 59, 6 9, 13, 14, 15
deb O feibion dynnion?
2 ᶻ Anwiredd yn hytrach a weithredwch yn z Esa. 5 20
eich calon: trawster y mae eich dwylo yn ei a 26, 10
drino ar y ddaiar.
3 ᵃ O'r groth yr ymddieithrodd y rhai annuw- a Esa. 48 8
iol, o'r brû y cyfeiliornasant gan ddywedyd Salm 51, 5
celwydd.
4 ᵇ Gwenwyn [sydd] ganddynt fel gwenwyn b Rhuf. 3 13
sarph: megis neidr fyddar [yr hon] a gae ei Deut. 32 24
chlustiau. Act. 7, 57
5 ᶜ Yr hon ni wrendy ar lais y rhin-wyr, [na'r] c Preg. 10
cyfarwydd swyn-wr swynion. 11
6 Dryllia O Dduw eu dannedd yn eu genau-
au: dinistria O Arglwydd gil-ddannedd y
llewod [ieuaingc.]
7 Todder hwynt fel dwfr, a diflannant, [a phan]
saethant eu saethau, [byddant] fel pe torrid
hwynt.
8 ᵈ Aed ymmaith fel malwoden dawdd, [neu] d Sal. 7 6
erthyl gwraig: [ac] na welont yr haul. Preg. 6, 3
9 Cythryblied ef megis [mewn] llid, fel [peth]
amrwd cynn i'ch crochanau glywed gwres y
mieri.
10 ᵉ Y cyfiawn a lawenych pan welo ddial: e Dat. 18 1, 2
[ac] a ylch ei draed yng-waed yr annuwiol. Dat. 11 10
11 ᶠ Yna y dywed dyn, Diau [fod] ffrwyth i'r Dat. 16
cyfiawn: diau fod Duw a farna ar y ddaiar. 20 f Dat. 16 15

## PSALM LIX.

*At y Pen cerdd, eurog Psalm Dafydd.* Na ddifetha. *Pan yrrodd Saul rai i gadw y tŷ iw ladd ef.* Prydnawnol weddi.

FY Nuw gwaret fi oddi wrth fyng-elynnion:
amddeffyn fi oddi wrth y rhai a ymgyfod-
ant i'm herbyn.
2 Gwaret fi oddi wrth weithred-wyr anwir-
edd: ac achub fi rhag y gwŷr gwaedlyd.
3 ᵍ Canys wele cynllwynasant yn erbyn fy g Act. 23 3
enaid, [ac] ymgasclodd cedyrn i'm herbyn: nid 1 Sam. 24
[ar] fy mai na'm pechod mau fi O Arglwydd. 10
4 Rhedant ymbaratoant heb anwiredd [ynofi:]
cyfot tithe i'm cafarfod, ac edrych.
5 ʰ A thi Arglwydd Dduw'r lluoedd [sef] h Es. 59 5
Duw Israel, deffro i ymweled a'r holl genhedl- Salm 16 5

oedd: na thrugarha wrth neb a'r a wnant
anwiredd yn faleisus. Selah.
6 Ymdroant gyd a'r hwyr, cyfarthant fel cŵn,
ac amgylchant y ddinas.
i Sal. 10 7 [i] Wele llefarant ai genau, [a] chleddyfau
11 a 73, 14 [fyddant] yn eu gwefusau: canys pwy [meddant]
a 94, 7 a glyw?
8 Ond tydi O Arglwydd ai gwattwari hwynt,
[ac] a chwerddi am ben yr holl genhedloedd.
j Ioan 19 9 [j] I ti y cadwaf ei nerth ef: canys Duw [yw]
11 1Sam. 26 fy amddeffynfa.
11 2 Cron 10 [k] Fy Nuw trugarog a'm rhagflaena: Duw
20, 12 a wna i mi weled [fy ewyllys] ar fyng-elynnion.
k 2Cor. 1 11 Na ladd hwynt rhag i'm pobl anghofio
3 Salm 41, 3 [hynny, eithr] gwascar hwynt yn dy nerth, a
darostwng hwynt, O Arglwydd ein tarian.
l Salm 12 12 [l] [Am] bechod eu genau, [ac] ymadrodd eu
2 Dan. 6, 5 gwefusau y delir hwynt yn eu balchder: canys
6 melldith, a chelwydd a draethant hwy.
Salm 109 13 [m] Difa [hwynt] yn [dy] lid, difa fel na [by-
17 m Esa. 26 ddant] hwy [mwyach:] ac y gwybyddant mai
9 Duw sydd yn llywodraethu yn Iacob, [ac] hyd
eithafoedd y ddaiar. Selah.
14 A hwy a droant gyd a'r hwyr, ac a gyf-
arthant fel cŵn, ac a amgylchant y ddinas.
n Iob 15 15 [n] Hwynt a gyrwydrant i fwytta, ac onis
23 Esa. 8, 21 digonir, grwgnach a wnant.
o Dat. 19 16 [o] Minne a ganaf am dy nerth, ac a ddad-
1 1Sam. 19 canaf dy drugaredd yn foreu: canys buost yn
11 Esa. 25, 4 amddeffynfa i mi, ac yn noddfa yn y dydd [y
Ex. 35, 1 bu] cyfyngder arnaf.
17 I ti fy nerth y canaf: canys Duw [yw] fy
amddeffynfa, [sef] fy Nuw trugarog.

## PSALM LX.

*At y Pen-cerdd ar chwe-thant, testiolaeth [ac] euraog Psalm Dafydd i ddyscu. Pan aeth efe yn erbyn Syriaid Mesopotamia, a Syriaid Zoba, pan ddychwelodd Ioab a lladd deuddeng mil o'r Edomiaid yn nyffryn yr halen.*

O DDUW ffieiddiaist ni, gwasceraist ni, [a]
sorraist: dychwel attom.
p Hag. 2 2 [p] Gwnaethost i'r ddaiar grynu, [a] holltaist
q 2 Cron. 7 hi: iacha ei briwiau, canys y mae yn siglo.
14 3 [q] Dangosaist i'th bobl galedi: diodaist ni a
r 1Sam. 4 gwin madrondod.
1 Deut. 28 4 Rhoddaist faner i'r rhai a'th ofnant, i fudd-
8 ugoliaethu a herwydd y gwirionedd. Selah
Sal. 20, 4 5 [r] Fel y gwareder dy rai annwyl: achub a'th
ddeheu-law, a gwrando fi.
s Dat. 18 6 [s] Duw a lefarodd yn ei sancteiddrwydd,
9 Ios. 1, 6 ([am hynny] y llawenychaf) rhannaf Sichem, a
Gen. 12, 6 mesuraf ddyffryn Succoth.
7 Eiddo fi [yw] Gilead, ac eiddo fi Manasses:
Ephraim hefyd [yw] nerth fy mhen, Iuda [yw]
fy neddf-wr.
t 2Sam. 8 8 [t] Moab [yw] fyng-hrochan golchi; ar Edom
2 Sam. 5, y bwriaf fy escid, Palestina ymorfoledda di
8 ynofi.

9 [u] Pwy a'm dwg i'r ddinas gadarn? pwy a'm u Dat. 17,
harwain hyd yn Edom? 6 2 Sam. 15
10 Onid tydi Dduw ['r hwn] a'n ffieiddiaist? 26, 29
ac nid eit ti allan O Dduw gyd a'n lluoedd?
11 Dod ti i mi gynhorthwy rhag cyfyngder:
canys ofer [yw] ymwared dyn.
12 [v] Yn Nuw y gwnawn wroldeb, canys efe a v 2Cor. 3
sathr ein cystudd-wyr. 14

## PSALM LXI.

*At y Pen-cerdd ar y Neginoth, Psalm Dafydd.*

CLYW [w] O Dduw fy llefain, [a] gwrando w Phil. 4
di fyng-weddi. 6, 7
2 [x] O eithaf y ddaiar y llefaf attat, pan les- x 1Tim. 2
meirio fyng-halon: arwain fi i graig a fyddo 8 Galar. 3
uwch na mi. 65 2Cor. 3, 5
3 [y] Canys buost obaith i mi, [a] thŵr nerthol y 1 Sam.
rhag y gelyn. 17, 37 Diar. 18
4 [z] Preswyliaf yn dy babell byth: a'm ym- 10
ddyried fydd dann orchudd dy adenydd. Selah. z Salm 63 7
5 [a] Canys ti Dduw a glywaist fy addunedau, a Gen. 28
rhoddaist etifeddiaeth i'r rhai a ofnant dy enw. 20 Heb. 11
6 [b] Hir-oes a roddi i'r brenin, ei flynyddoedd 8 b Salm. 7
[fyddant] lawer oes. 13 Dan. 2
7 [c] Efe a breswylia byth ger bron Duw: dar- 44
par drugaredd a gwirionedd, [fel] y cadwant ef. c Luc. 1, 51
8 Felly y can-molaf dy enw yn dragywydd: Diar. 20
gan dalu fy addunedau beunydd. 28

## PSALM LXII.

*At y Pen-cerdd Iedutbun, Psalm Dafydd.*

WRTH Dduw yn unic y disgwil fy enaid, Boreuol
o honaw ef [y daw] fy iechydwriaeth. weddi.
2 [d] Efe yn unic [yw] fyng-hraig, a'm hiechyd- d Sal. 73
wriaeth: a'm hamddeffyn: [am hynny] ni'm 25 1Cor. 10,
mawr yscogir. 13
3 [e] Pa hyd y bwriedwch aflwydd i bawb? lle- e Act. 17
ddir chwi oll, [a byddwch] fel magwyr ogwydd- 31 Dat. 18
edic, [neu] bared ar ei ogwydd. 21
4 [f] Ymgynghorasant yn unic i'w fwrw ef i Esa. 30 13
lawr oi fawredd, hoffasant gelwydd, ai geneu- f Salm 2, 2
au y bendithiasant, ac oi mewn y melldithias- Luc 19, 14 Dat. 22
ant. Selah. 15
5 Oh fy enaid ymlonydda yn Nuw yn unic,
canys ynddo ef [y mae] fyng-obaith.
6 Efe yn unic yw fyng-hraig a'm hiechydwr-
iaeth: a'm hamddeffynfa, [am hynny] ni'm
hyscogir.
7 Yn Nuw [y mae] fy iechydwriaeth a'm go-
goniant: [sef] craig fyng-hadernid: yn Nuw [y
mae] fyng-obaith.
8 [g] Gobeithiwch ynddo ef bob amser O bobl, g 1 Sam.
tywelltwch eich calon ger ei fron ef: Duw 1, 15
[sydd] obaith i ni. Selah.
h Salm 49
9 [h] Gwagedd yn unic [yw] meibion dynion, 2 a 12, 2
geudab [yw] meibion gwŷr: pan gyfodant yn y Hab. 3, 17
clorian [ysgafnach ydynt] hwy eu gyd na gwegi. i Ier. 17 11
10 [i] Nac ymddyriedwch mewn camwedd, ac 1 Cor. 7 31

mewn trawsedd na ddiffemmwch: os cynnydda
golud, na roddwch eich calon [arno.]
jDat.19,1 11 [j] Un-waith y dywedodd Duw, clywais
hynny ddwy-waith, mai eiddo Duw [yw] cad-
ernid.
k 2Cor.1 12 [k] Trugaredd hefyd [sydd] eiddo ti O Ar-
3 glwydd: canys ti a deli i bawb yn ol ei weithred.

## PSALM LXIII.

*Psalm Dafydd pan oedd efe yn niffaethwch Iuda.*

1 Rhuf. 8 TI [l] O Dduw [wyt] fy Nuw mau fi, yn foreu
37 i'th geisiaf, sychedodd fy enaid am danat,
Iob 5, 8 hiraethodd fyng-hnawd am danat mewn tir crâs
Salm 42 a sychedic heb ddwfr.
2
Ier. 2, 6 2 [m] Felly i'th welais [megis] mewn cyssegr,
m Salm wrth weled dy nerth, a'th ogoniant.
27, 4
Ezec. 11 3 [n] Canys gwell [yw] dy drugaredd di na'r
16 bywyd, fyng-wefusau a'th foliannant di.
n Sal. 30 4 [o] Felly i'th glodforaf yn fy mywyd, [ac] y
5 derchafaf fy nwylo yn dy enw.
Can. 7, 9 5 Megis â mêr, ac â brasder y digonir fy en-
o Sal. 104 aid; a'm genau a'th fawl â gwefusau llafar:
33
1 Tim. 2 6 [p] Pan i'th gofiwyf ar fyng-wely, myfyriaf am
8 danat yn y gwiliadwriaethau.
Sal. 34, 8
p Galar. 3 7 Canys buost gynnorthwy i mi, am hynny
19 yng-hyscod dy adenydd y gorfoleddaf.
q Can. 2, 6 8 [q] Fy enaid a lynodd wrthit, a'th ddehaulaw
a'm cynhaliodd.
9 A'r rhai a geisiant fy enaid i ddestrow, a ânt
i isselderau y ddaiar.
s Ier. 18 10 [r] Syrthiant ar fin y cleddyf: [a] rhan
21 llwynogod fyddant hwy.
11 Ond y brenin a lawenycha yn Nuw: gor-
foledda pob un a dyngo iddo ef, canys caeir
genau y rhai a ddywedant gelwydd.

## PSALM LXIV.

*Psalm Dafydd at y Pen cerdd.*

a Salm 27 CLYW [s] fy llef O Dduw yn fyng weddi:
7 cadw fy einioes rhag ofn y gelyn.
a 34, 4
t Hab. 3 2 [t] Cuddia fi rhag cyfrinach y rhai drygionus,
16 [a] rhag terfysc gweithredwyr anwiredd.
3 Y rhai a hogasant eu tafod fel cleddyf, ac a
saethasant saeth geiriau chwerwon.
u Salm 10 4 [u] I seuthu'r perffaith yn ddirgel, yn ddisym-
8 mwth y saethant ef, ac ni ofnant.
a 56, 1 5 [v] Ymnerthant [mewn] peth drygionus, ym-
v Neh. 4 chwedlenant am guddio y rhwydau: dywedant,
11 Pwy ai gwel hwynt?
Dan. 6, 4
5
Sal. 10. 11 6 [w] Chwiliasant allan anwireddau, [a] chwpl-
w Dan. 6 asant y dirgelwch, a chwiliwyd [yng-heudod,]
6 a dyfnder calon pob un [o honynt.]
1 Bren. 18
10 7 Eithr Duw ai saetha hwynt â saeth ddisym-
mwth, [fel] yr archoller hwynt.
x Diar. 12 8 [x] Ac hwy a wnant iw tafodau eu hun syrthio
13 arnynt; pob un ai gwelo a giliant.
Dat. 18, 10 9 [y] Pob dyn ai gwelo a fynegant [mai] gweith-
y Dat. 11
13
Ier. 50, 28
Sal. 111, 2 red Duw [yw hyn;] canys deallant [mai] ei

waith ef [yw hyn.]
10 Y cyfiawn a lawenycha yn yr Arglwydd,
ac a obeithia ynddo ef; a'r rhai iniawn o galon
oll a orfoleddant.

## PSALM LXV.

*At y Pen-cerdd Psalm neu gân Dafydd.* Pryd-
iawnol
weddi.

MAWL a'th erys di yn Sion O Dduw; ac
i ti y telir yr adduned [yn Ierusalem.]
2 [z] [Ti] 'r hwn a wrandewi weddi, attat ti y z Esa. 45
daw pob cnawd. 11
Dan. 9,
3 [a] Pethau anwir a'm gorchfygasant, ti a dru- 20
garhei wrth ein camweddau. Phil. 2, 9
a Dat. 8
4 [b] Gwyn ei fyd [yr hwn] a ddewisech, ac a 7
nessaech attat; efe a drig yn dy gynteddoedd, Rhuf. 8
ac ni a ddigonir â daioni dy dŷ, [sef] dy Deml 35
sanctaidd. b Sal. 4, 3
Rhuf. 8
30
5 [c] Attebi i ni [bethau] ofnadwy yn [dy] gyf-
iawnder O Dduw ein iechydwriaeth; gobaith c Dat. 11
holl gyrrau y ddaiar, ac eithafoedd y môr. 18
Esa. 45, 4
6 [d] Yr hwn a siccrhâ y mynyddoedd yn ei
nerth, [ac] a wregyssir â chadernid. d Ier. 8
25
7 [e] Yr hwn a ostêga dwrf y moroedd, twrf eu Sal. 93, 1
tonnau, a therfysc y bobloedd. e Matt. 8
26
8 A phresswyl-wŷr eithâfoedd [y bŷd] a of-
nant rhag dy arwyddion, gwnei i derfyn boreu
a hwyr [dy] glodfôri.
9 [f] Yr wyt yn gofwyo y ddaiar, ac yn ei dwfr-
hau hi, yr ydwyt yn ei chyfoethogi hi yn ddir- f Dat. 11
fawr, afon Duw sydd yn llawn dwfr: yr wyt yn 13
paratoi ŷd iddynt, canys felly y darperaist hi. Esa. 55, 1
10 [g] Gan ddwfrhau ei rhychau, [a] gostwng g Ier. 5
ei chwysau, yr ydwyt yn ei mwydo hi â chafod- 24
au, ac yn bendithio ei chnŵd hi. Esa. 4, 8
11 Corôni yr ydwyt y flwyddyn a'th ddaioni, Zec. 5, 8
a'th lwybrau a ddiferant fraster.
12 Diferant [ar] llanhechoedd yr anialwch:
a'r bryniau a ymwregysant â hyfrydwch.
13 Y dolydd a wiscir â defaid, a'r dyffrynoedd
a orchguddir ag ŷd, [am hynny] y bloeddiant,
ac y cânant.

## PSALM LXVI.

*At y Pen-cerdd Psalm neu gân.*

YMLAWENHEWCH [h] yn Nuw yr holl h Act 6, 8
fyd.
2 Dadgenwch ogoniant ei enw; gosodwch ei
foliant yn ogoneddus.
3 [i] Dywedwch wrth Dduw, Mor ofnadwy i Sal. 65,
[ydwyt yn] dy weithredoedd? o herwydd aml-
der dy nerth y cymmer dy elynnion arnynt fod
yn ddarostyngedic i ti.
4 [k] Yr holl fyd a ymostyngant i ti, ac a gan- k Dat. 9
ant i ti, [ïe] canant i'th enw. Selah. 16
5 Deuwch, a gwelwch weithredoedd Duw,
ofnadwy [yw yn ei] weithred tu ag at feibion l Gen. 8
dynion. 21
6 [l] Trôdd efe y môr yn sych-dir, aethant drwy' Rhuf. 8
4

afon ar draed: yna y llawenychasom ynddo.
m Sal 11 4 Luc 19,14 7 [m] Efe a lywodraetha yn ei gadernid byth, ei
lygaid a edrychant ar y cenhedloedd, y rhai
annufydd nid ymdderchafant. Selah.
n Act. 4 27 8 [n] Oh bobloedd molwch ein Duw, a pherwch
glywed llais ei fawl ef.
o Eph. 2,1 9 [o] Yr hwn sydd yn gosod ein henaid mewn
bywyd, ac ni âd i'n troed lithro.
p 1 Pedr 1, 6, 7 10 [p] Canys profaist ni O Dduw, a choethaist
ni fel coethi arian.
q Galar 1, 13 11 [q] Dygaist ni i'r rhwyd, gosodaist wascfa ar
ein lwynau.
r Esa. 51 23 Heb 13,19 12 [r] Peraist i ddynnion farchogeth ar ucha ein
pennau, aethom drwy yr tân, a'r dwfr: a thi a'n
dygaist allan i [le] diwall.
13 Deuaf i'th dŷ ag offrymmau poeth, talaf it
fy addunedau,
Sal. 18,6 14 [s] Y rhai a addawodd fyng-wefusau, ac a
ddywedodd fyng-enau yn fyng-hyfyngder.
15 Offrymmaf it boeth offrymmau breision
yng-hyd ag arogl-darth hyrddod: aberthaf ych-
en, a bychod. Selah.
Sal. 34 16 [t] Deuwch, gwrandewch y rhai oll a ofnwch
1 Tim. 1 Dduw: a mynegaf yr hyn a wnaeth efe i'm
henaid.
17 Llefais arno a'm genau, ac efe a dderchaf-
wyd a'm tafod.
Esa. 1 18 [u] Pe edrychaswn ar anwiredd yn fyng-
Job 27, 9 halon, ni wrandawse'r Arglwydd.
Diar. 15 19 [v] Duw yn ddiau a glybu, [ac] a wrandaw-
Sal. 4,3 odd ar lais fyng-weddi.
Sal. 116 20 [w] Bendigedic fyddo Duw 'r hwn ni fwriodd
fyng-weddi [oddi wrtho,] nai drugaredd ef oddi
wrthif inne.

## PSALM LXVII.

*At y Pen-cerdd ar y Neginoth, Psalm neu Gân.*

Num. 6 DUW [x] a drugarhao wrthym, ac a'n ben-
Sal. 4, 6 dithio, [a] thywynned ei wyneb arnom, [a
Rhuf. 4 thrugarhaed wrthym.] Selah.
Tit. 2 2 [y] Fel yr adwaener dy ffordd ar y ddaiar a'th
Luc 2. 18 iechydwriaeth ym mhlith yr holl genhedloedd.
Luc 2,30 3 Molianned y bobl di O Dduw: molianned
yr holl bobl dy di.
4 Llawenhaed y cenhedloedd, a byddant
hyfryd: canys ti a ferni y bobl yn iniawn, ac a
lywodraethi y cenhedloedd ar y ddaiar. Selah.
5 Molianned y bobl di O Dduw: molianned yr
holl bobl di.
Lef. 26 Dat. 15 6 [z] [Y na]'r ddaiar a rydd ei ffrwyth: [a] Duw
[sef] ein Duw ni a'n bendithia.
Hos. 3,5 Hea. 1 7 [a] Duw a'n bendithio, a holl derfynau'r ddaiar
ai hofnant ef.

## PSALM LXVIII.

*At y Pen-cerdd Psalm neu Gân Dafydd.*

b Gwel Num. 10 Esa. 2 CYFODED [b] Duw [a] gwascerir ei elyn-
nion: ffoed ei gaseion oi flaen ef.

Rhuf. xii.

2 Chweli [hwynt] fel chwalu mwg: fel y tawdd
cwyr wrth y tân difether y rhai annuwiol o
flaen Duw.
3 [c] Ond llawenycher y rhai cyfiawn, a gor- c Sal. 58 10
foleddant ger bron Duw: a byddant hyfryd o Dat. 19,1
lawenydd. 2, 3
4 Cenwch i Dduw, can-molwch ei enw, derch-
efwch yr hwn sydd yn marchogeth ar y nefoedd,
yr Arglwydd [yw] ei enw: gorfoleddwch ger ei
fron ef.
5 Tad yr ymddifaid, a barn-wr y gweddwon
[yw] Duw yn ei bresswylfa sanctaidd.
6 [d] Duw sydd yn gosod rhai [i fod] yn gydtun d Sal. 113 9
mewn tŷ, ac yn dwyn allan y rhai a rwymwyd Act. 12,4
mewn gefynau: ond y rhai cyndyn a bresswyl-
iant gras-dir.
7 Pan aethost O Dduw o flaen dy bobl: pan
gerddaist trwy yr anialwch. Selah.
8 [e] Y ddaiar a grynodd, a'r nefoedd a ddifer- e Ex. 19,16
asant o flaen Duw: [felly] Sinai yntef o flaen Gal. 4,25
Duw, [sef] Duw Israel.
9 [f] Dihidlaist law graslawn O Dduw [ar] dy f Ezec. 34 26
etifeddiaeth: ti ai gwrteithiaist wedi ei blino. Sal. 6,1,2
10 [g] Dy gynnulleidfa di sydd yn trigo ynddi, g Deut.
yn dy ddaioni O Dduw yr wyt yn darparu 26, 5,9,10
i'r tlawd.
11 [h] Yr Arglwydd a roddes y gair, mawr h Eph. 6 19
[oedd] mintai y rhai a bregethent.
12 Brenhinoedd byddinoc a ffoasant, [ac] a
yrrwyd i gilio: a'r hon a drigodd yn tŷ a ran-
nodd yr yspail.
13 [i] Er gorwedd o honoch rhwng y crochan- i Galar 4 8
au, [byddwch fel] escyll colomen wedi eu Sal. 119
gwisco ag arian, ai hadenydd o aur melyn. 33 Gen. 41
14 [j] Pan wascarodd yr Holl-alluog frenhin- 40 j Dan. 2
oedd ynddi, yr oedd hi cyn wynned ag eira yn 35
Salmon. Dat. 2,17
15 [k] Mynydd Duw [sydd fel] mynydd Basan, k Dat. 14
yn fynydd cribog [fel] mynydd Basan. 1
16 [l] Pa ham y llemmwch chwi fynyddoedd 1 Sal. 2,6
cribog? y mynydd [hwn] a chwenychodd Duw a 132, 13, 14
ei bresswylio, ac a bresswylia'r Arglwydd byth.
17 [m] Cerbydau Duw [ydynt] ugain mil [sef] m 2 Bren. 6, 15
miloedd o angelion: a'r Arglwydd yn eu plith Dan. 7,10
megis yng-hyssegr Sinai. Heb. 12 22
18 [n] Dercheafaist i'r uchelder, caeth-gludaist n Eph. 4 8
gaethiwed, derbynnaist roddion i ddynion: a'r Esa. 33,1
rhai cyndyn hefyd [a gaethiwaist,] gan bresswyl- Barn. 1 12
io O Arglwydd Dduw [yno.] 1 Tim. 1 13
19 Bendigedic [fyddo]'r Arglwydd beunydd, Eph. 3,17
[yr hwn] a'n llwytha ni â daioni: [sef] Duw ein
iechydwriaeth ni. Selah.
20 [o] Efe [yw] ein Duw ni sef Duw iechydwr- o 1 Cor. 10 13
iaeth: a thrwy'r Arglwydd Dduw [y mae]
diangc oddi wrth farwolaeth.
21 Duw yn ddiau a archolla benn ei elynnion,

[a] chopppa walltoc yr hwn a rodio yn ei gam-
weddau.
p Esa. 11 22 p Dywedodd yr Arglwydd, Dygaf [fy mhobl]
trachefn [megis] o Basan, dygaf [hwynt] yn eu
hôl [megis] o ddyfnder y môr.
q Dat. 19 23 q Fel y trochech dy droed mewn gwaed,
[a] thafod dy gŵn yn [y gwaed] yr hwn [a ddaw]
oddi wrth y gelynnion.
r 2 Sam. 6 24 r Gwelsant dy fynediad O Dduw, [sef]
mynediad fy Nuw a'm Brenin yn y cyssegr.
s 2 Sam. 6 25 s Y cantorion a aethant o'r blaen, a'r cer-
ddorion ar ôl: yn y canol yr oedd y llangcesau
yn canu tympanau.
26 Clodforwch Dduw yn y cynnulleidfaoedd,
[clodforwch] yr Arglwydd [y rhai ydych] o
ffynnon Israel.
t Barn. 20 27 t Yno [y mae] Beniamin fychan eu llywydd,
[a] thywysogion Iuda eu cynnulleidfa: tywys-
ogion Zabulon, a thywysogion Nephthali.
u Sal. 42 28 u Dy Dduw a ordeiniodd nerth i ti, cad-
arnhâ O Dduw yr hyn a wnaethost ynom ni.
v Dat. 18 29 v Brenhinoedd a ddygant i ti anrheg er
mwyn dy Deml yn Ierusalem.
30 Difetha dyrfa y gwaiwffyn, [sef] cynnull-
eidfa gwrdd deirw, ym mysc lloi y bobl fel y
delont yn ostyngedic a darnau arian: gwascar
y bobl a ewyllysiant ryfel.
w Esa. 19 31 w [Yna] pendefigion a ddeuant o'r Aipht,
Ethiopia a estyn ei dwylo'n bryssur at Dduw.
x Dat. 11 32 x Teyrnasoedd y ddaiar cenwch i Dduw,
can-molwch yr Arglwydd. Selah.
y 1 Bren. 33 y Yr hwn a ferchyg ar y nefoedd goruchaf
o'r dechreu: wele efe a ddyry ei leferydd, sain
nerthol.
34 Rhoddwch i Dduw gadernid: ei oruchel-
der [sydd] ar Israel, ai nerth yn yr wybrennau.
z Dat. 16 35 z Ofnadwy wyt O Dduw o'th gyssegr,
Duw Israel yw efe, yn rhoddi nerth, a chad-
ernid i'r bobl: bendigedic [fyddo] Duw.

## PSALM LXIX.

*At y Pen-cerdd ar chwe thant Psalm Dafydd.*

Pryd-
nawnol
weddi.
ACHUB a fi O Dduw, canys y dyfroedd a
ddaethant hyd at [fy] enaid.
b Mat. 27 2 b Glynais yn y domm dyfn, lle ni [chawn]
sefyllfa: deuthum i ddyfnder y dyfroedd, a'r
ffrwd a lifodd trosof.
c Sal. 6. 6 3 c Blinais yn llefain, sychodd fyng-heg, [a]
phallodd fy llygaid: [a mi] yn disgwil wrth fy
Nuw.
d Ioan 15 4 d Amlach na gwallt fy mhenn yw y rhai a'm
casânt heb achos: cedyrn yw fyng-elynnion y
rhai am difethent ar gamm: yna y telais yr hyn
ni chymmerais.
e 2 Cor. 5 5 e O Dduw ti a adwaenost fy ynfydrwydd,
ac nid yw fyng-hamweddau guddiedic oddi
wrthit ti.

6 f Na chywilydder o'm plegit i y rhai a f Luc
obeithiant ynot ti Arglwydd Dduw y lluoedd:
na wradwydder o'm plegit i y rhai a'th geisiant
ti O Dduw Israel.
7 Canys er dy fwyn di y dygais warthrudd,
[ac] y tôdd cywilydd fy wyneb,
8 g Euthym yn ddieithr i'm brodyr, ac [fel] g Ioan 1
estron gan blant fy mam.
9 h Canys zêl dy dŷ a'm hyssodd, a gwrad- h Sal. 119
wyddiad y rhai a'th wradwyddent di a syrth-
iodd arnafi.
10 i Wylais [gan gystuddio] fy enaid ag ym- i Luc
pryd, a [bu hynny] yn wradwydd i mi.
11 Gwiscais hefyd sachlain, ac euthym yn
ddihareb iddynt.
12 k Am danafi y chwedleue y rhai a eistedd- k Luc
ent yn y porth, ac [y gwnae] y rhai meddwon
wawd.
13 l Ond mi [a wnaf] fyng-weddi attat ti O l 1 Pedr
Arglwydd mewn amser cymmeradwy O Dduw,
yn lluosogrwydd dy drugaredd: gwrando fi
yng-wirionedd dy iechydwriaeth.
14 Gwaret fi o'r domm fel na soddwyf, rhydd-
haer fi oddiwrth fyng-hasceion, ac o'r dyfroedd
dyfnion.
15 Na lifed y ffrwd ddwfr trosof, ac na lyngc-
ed y dyfnder fi: na chaeued pydew ychwaith
ei safn arnaf.
16 l Clyw fi Arglwydd, canys da [yw] dy
drugaredd: yn ol amlder dy dosturiaethau ed-
rych arnaf.
17 Ac na chuddia dy wyneb oddiwrth dy
was, canys [y mae] cyfyngder arnaf, bryssia,
gwrando fi.
18 Nesâ at fy enaid, a gwaret ef, rhyddhâ fi o
herwydd fyng-elynnion.
19 m Ti a adwaenost fyng-warthrudd, a'm cy- m Sal.
wilydd, a'm gwradwydd: fy holl elynnion [yd-
ynt] ger dy fron di.
20 n Gwarthrudd a ddrylliodd fyng-halon, yr n Mat.
ydwyf yn gofidio: canys disgwiliais [am rai]
i dosturio [wrthif,] ac nid [oedd neb:] ac am
gyssur-wyr, ac ni chefais [neb.]
21 o Eithr rhoddasant fustl yn fy mwyd, ac o Mat.
a'm diodasant yn fy syched â finegr.
22 p Bydded eu bwrdd hwythau yn fagl ger eu p Rhuf.
bron, ai llwyddiant yn dramgwydd.
23 q Tywyller eu llygaid fel na welont, a gwna q Rhuf.
iw cefnau grymmu bob amser.
24 r Tywallt dy ddig arnynt, a goddiweddet
llidiawgrwydd dy ddigofaint hwynt.
25 s Bydded eu preswylfod yn anghyfannedd, s Act.
ac na fydded a drigo yn eu pebyll:
26 Canys erlidiasant yr hwn a darawsit ti, ac
am ofid y rhai a archollaist ti y crybwyllant.
27 t Dod ti anwiredd ar anwiredd iddynt, ac

na ddelont yn dy gyfiawnder di.
s Dat. 3,5 Phil. 4,3 Esec. 13,9 28 [s] Tynner hwynt ymaith o lyfr y bywyd: ac nac scrifenner hwynt gyd a'r rhai cyfiawn.
v Mat. 26,38 29 [v] Pan [fyddwyf] druan, a gofidus, dy iechydwriaeth di O Dduw a'm cyfyd fi.
30 Moliannaf enw Duw ar gân, a mawrygaf ef mewn mawl.
w Sal. 50,13,14 31 [w] A [hyn] fydd gwell gan yr Arglwydd nag ych, [neu] fustach corniog, carnol.
32 Y trueiniaid a lawenychant [pan] welant [hyn:] eich calon chwithau y rhai a geisiwch Dduw a fydd byw.
x Eph. 3,1 33 [x] Canys gwrendu'r Arglwydd ar dlodion, ac ni ddiystyra efe ei garcharorion.
y Sal. 148,1,8 34 [y] Nefoedd, a daiar, y môr a'r hyn oll a ymlusco ynddo ai molant ef.
z Sal. 51,18 Esa. 44,26 1 Cor. 3,9 35 [z] Canys Duw a achub Sïon, ac a adailada ddinasoedd Iuda, fel y triger yno, ac y meddianner hi.
36 Ië hiliogaeth ei weision ai meddiannant hi: a'r rhai a hoffant ei enw ef a breswyliant ynddi.

## PSALM LXX.

*At y Pen-cerdd Psalm Dafydd i gofio.*

a Sal. 40,13 Sal. 22,19 O DDUW [a] [prysura] i'm gwaredu, bryssia Arglwydd i'm cymmorth.
b Sal. 35,4 2 [b] Cywilyddier, a gwarthrudder y rhai a geisiant fy enaid: troer yn eu hol, a gwradwydder y rhai a ewyllysiant ddrwg i mi.
c Diar. 24,17 Heb. 11,6 3 [c] Datroer yn lle gwobr am eu cywilydd, y rhai a ddywedant, Ha, ha.
4 Llawenyched, a gorfoledded ynot ti y rhai oll a'th geisiant, a dyweded y rhai a garant dy iechydwriaeth yn wastad, Mawryger Duw.
d Sal. 69,29 1 Cor. 1,10 1 Tim. 4 5 [d] Minne [ydwyf] druan a thlawd, O Dduw bryssia attaf, fyng-hymmorth a'm gwaredudd [ydwyt] ti, O Arglwydd na hir drig.

## PSALM LXXI.

Boreuol weddi. e 1 Cron. 5,20 Sal. 25,1 YNOT [e] ti O Arglwydd y gobeithiais, na'm cywilyddier byth.
2 Achub fi, a gwaret fi yn dy gyfiawnder: gostwng dy glust attaf, ac achub fi.
f Sal. 31,2,3 a 69,18 a 91,11 3 [f] Bydd i mi 'n graig gadarn, i ddyfod iddi bob amser: addewaist fy achub, canys ti yw fyng-hraig a'm hamddeffynfa.
4 Gwaret fi O Dduw o law'r annuwiol, o law y trafaus, a'r traws.
5 Canys ti yw fyng-obaith O Arglwydd Dduw, [sef] fyng-obaith o'm ieuengctid.
g Sal. 22,10 Esa. 46,3 6 [g] Wrthit ti i'm cynhaliwyd o'r brû, ti a'm tynnais o grôth fy mam: fy mawl [fydd] yn wastad am danat ti.
h Esa. 8,18 Heb. 2,13 Zec. 3,8 1 Cor. 4,9 7 [h] Oeddwn i lawer megis yn anghenfil, eithr tydi [wyt] fyng-hadarn obaith.
8 Llanwer fyng-enau a'th foliant, dy ogoniant [a ddadcanaf] beunydd, [a'th anrhydedd].
9 Na fwrw fi ymmaith yn amser [henaint]: na wrthot fi pan ddarfyddo fy nerth.
10 [i] Canys fyng-elynnion ydynt yn chwedleua i'm herbyn, a'r rhai a ddisgwiliasant am fy enaid, a gyd-ymgynghorasant. i Sal. 56,6 a 2,2
11 [j] Gan ddywedyd, Duw ai gwrthododd ef, erlidiwch, a deliwch ef, canys nid [oes] gwaredudd. j 2 Sam. 17,1 2 Bren. 18,30
12 [k] O Dduw na fydd bell oddi wrthif, fy Nuw bryssia i'm cymmorth. k Luc 23,44 Sal. 70,1
13 [l] Cywilyddier, a difether y rhai a wrthwynebant fy enaid, â gwarth ac â gwaradwydd y gorchguddier y rhai a geisiant ddrwg i mi. l Sal. 35,4,5
14 Minne a obeithiaf yn wastad, ac a'th foliannaf di fwy-fwy.
15 [m] Fyng-enau a fynega dy gyfiawnder, a'th iechydwriaeth beunydd: canys ni wn rifedi [arnynt.] m 2 Thes. 1,6,7 Sal. 40,5
16 [n] Yng-hadernid yr Arglwydd Dduw y cerddaf, dy gyfiawnder di yn unic a gofiaf fi. n Esa. 45,24 Phil. 4,13
17 [o] O'm ieuengctid i'm dyscaist O Dduw, am hynny y mynegaf dy ryfeddodau hyd yn hyn. Sal. 115,1 Esa. 26,13
18 [p] Na wrthot fi yn hwaith O Dduw mewn henaint, a phen-llwydni, hyd oni fynegwyf dy nerth i'r genhedlaeth [hon,] a'th gadernid i bob un a ddelo. o 1 Sam. 17,33,34 p Phil. 1,6 Heb. 12,5
19 Dy gyfiawnder O Dduw a aeth yn uchel yr hwn a wnaethost [bethau] mawrion, pwy O Dduw [sydd] fel tydi?
20 [q] Yr hwn a wnaethost i mi weled aml a drygionus gystudd, [etto] dychwelaist [a] bywheaist fi, a dychwelaist a chyfodaist fi o orddyfnder y ddaiar. q 2 Sam. 12,11 Hos. 6,2
21 [r] Amlhei fy mawredd, troi hefyd [a] chysuri fi. r Luc 24,26 Zec. 2,5
22 [s] Minne a'th foliannaf O Dduw ar offeryn nabl [am] dy wirionedd: canaf it a'r delyn O Sanct Israel. s Dat. 19,1 Esa 5,16
23 Fyng-wefusau fyddant hyfryd pan ganwyf i ti, a'm henaid yr hwn a waredaist.
24 [t] Fy nhafod hefyd a draetha dy gyfiawnder beunydd, o herwydd cywilyddio, [ac] am wradwyddo y rhai a geisiant niwed i mi. t Sal. 145,11

## PSALM LXXII.

*Psalm Solomon.*

O DDUW [u] dod ti i'r brenin dy farnedigaethau: ac i fab y brenin dy gyfiawnder. u Sal. 2,6 Esa 11,1 Diar 16,13
2 [Yna] y barn efe dy bobl mewn cyfiawnder: a'th drueniaid mewn iniondeb.
3 [v] Y mynyddoedd a ddygant heddwch i'r bobl a'r bryniau gyfiawnder. v Esa 32,17 Ioel 3,18
4 [w] Efe a farn drueniaid y bobl, efe a achub feibion yr anghenus: ac a ddryllia y gorthrymmudd. w Dat 19,20
5 [x] Tra fyddo haul a lleuad i'th ofnant, [yn] oes oesoedd. x Hos 3,5 Esa ?,7
6 Efe a ddescyn fel glaw ar gnû gwlân, fel ca-

fodydd yn dyfrhau y ddaiar.
y Dan 7, 14 7 [y] Yn ei ddyddiau ef y blodeua y cyfiawn, ac
amlder o heddwch fydd tra [fyddo] lleuad.
z Dat 11, 15 8 [z] Ac efe a lywodraetha o fôr hyd fôr, ac o'r
afon hyd derfynau y ddaiar.
9 Oi flaen ef yr ymgrymma trigolion yr anial-
wch: ai elynnion a lŷfant y llŵch.
a Esa 60, 6, 9 10 [a] Brenhinoedd Tharsis, a'r ynysoedd a dal-
ant anrheg, brenhinoedd Saba, ac Arabia a
ddygant rodd.
b Dat 21, 24 11 [b] Ië'r holl frenhinoedd a ymgrymmant iddo
ef: yr holl genhedloedd ai gwasanaethant ef.
12 Canys efe a wared yr anghenog pan waeddo,
a'r truan hefyd, a'r [hwn] ni [byddo] cynnorth-
wy-wr iddo.
13 Efe a arbed y tlawd a'r rheidus: ac a achub
enaid y rhai anghenus.
c Dat 18, 24 14 [c] Efe a wareda ei henaid oddi wrth dwyll,
a thrawsder: a gwerthfawr fydd eu gwaed yn
ei olwg ef.
d Dat 1, 18 Mat 6, 18 15 [d] Byw hefyd fydd efe, a rhoddir iddo o aur
Arabia: gweddiant hefyd atto ef yn wastad:
beunydd y clodforir ef.
e Hos 14, 8 Mat 13, 23 16 [e] Bydd dyrned o ŷd ar y ddaiar ym mhen
y mynyddoedd, ei ffrwyth a escwyd fel Liban-
us: a [phobl] a darddant o'r ddinas fel gwellt y
ddaiar.
17 Ei enw fydd yn dragywydd, ei enw a beru
tra fyddo haul, yr holl genhedloedd a fendithir
ynddo ef, ac ai clodforant ef.
18 Bendigedic [fyddo] 'r Arglwydd Dduw
[sef] Duw Israel, yr hwn yn unic sydd yn
gwneuthur rhyfeddodau.
f Dat 19, 1 19 [f] Bendigedic hefyd [fyddo] enw ei ogoniant
ef yn dragywydd: a'r holl ddaiar a lanwer oi
ogoniant, Amen, Amen.
g 1 Pedr 1, 10 [g] *YMMA y gorphennir gweddiau Dafydd
fab Isai.*

## PSALM LXXIII.

Prydnawnol weddi.

*Psalm at Asaph.*

h Luc 23, 32 1 Ioan 3, 3 YN [h] ddiau da [yw] Duw i Israel: [sef] i'r
rhai glân o galon.
i 2 Cor 1, 4, 6 2 [i] Etto braidd na lithrodd fy nhraed, prinn
na thrippiodd fyng-herddediad.
j Sal 37, 1 3 [j] Canys cenfigennais wrth y rhai ynfyd, [pan]
welais lwyddiant y rhai annuwiol.
4 Canys heb ofid [y deuant] iw marwolaeth,
ai cryfder [sydd] heini.
k Heb 12, 8 5 [k] Nid [ydynt] mewn blinder dynawl, ac ni
ddialeddir arnynt hwy gyd â dynion eraill.
l Deut 32, 15 6 [l] Am hynny y cadwynodd balchder hwynt
[ac] y gwisc trawsder am danynt [fel] dilledyn.
m Iob 3, 17 7 [m] Eu llygad a saif allan gan fraster: aeth-
ant tros feddwl calon [o gyfoeth.]
n Ier 5, 28 Ex 5, 3 8 [n] Y maent yn llygru, yn chwedleua yn
ddrygionus [am] drawsder: [ac] yn dywedyd
yn uchel.
9 [o] Gosodasant eu genau yn erbyn y nefoedd, o Dat 13, 6
ai tafod a gerdd trwy'r ddaiar.
10 Am hynny y dychwel ei bobl ef ymma, ac
y gwescir iddynt ddwfr [phiol] lawn.
11 Dywedant hefyd, Pa fodd y gŵyr Duw, a
oes gwybodaeth gan y Goruchaf?
12 [p] Wele dymma y rhai annuwiol, a'r rhai p Ier 12, 1 Sal 49, 6
ydynt lwyddiannus yn wastad: [ac] a amlhas-
ant olud.
13 [q] Diau [mai] yn ofer y glanheais fyng-halon, q Mal 3, 14
ac y golchais fy nwylo mewn gwirionedd.
14 [r] Canys ar hyd y dydd i'm maeddwyd, r Iob 7, 18
fyng-hosp [a ddeue] bob boreu.
15 Os dywedwn, Mynega fel hyn, wele [á]
chenhedlaeth dy blant di y gwnawn gam.
16 Pan amcanwn ddeall hyn, blin [oedd] hyn-
ny yn fyng-olwg mau fi.
17 [s] Hyd onid euthum i gyssegr Duw: yna y s Sal 119, 11, 98 2 Cor 5, 5
deallais eu diwedd hwynt.
18 [t] Diau osod o honot hwynt yn llithric [a] Sal 37, 8
chwympo o honot ti hwynt i anghyfannedd-dra. t Diar 30, 8, 9
19 [u] Morr ddisymmwth yr aethant yn ang- u Dat 18, 10
hyfannedd, y pallhasant, ac y darfuant yn Ier 51, 9
arutbrol.
20 [v] Fel breuddwyd wrth ddihuno [un,] y v Esa 29, 7, 8
gwnei eu gwedd hwynt yn ddirmygus yn y Sal 78, 65
ddinas O Arglwydd.
21 Diau lidio fyng-halon: a'm trywanu trwy
fy arennau.
22 Canys [yr oeddwn] i yn ynfyd, ac heb
wybod [dim:] anifail oeddwn o'th flaen di.
23 [w] Etto yr [oeddwn] yn wastad gyd â thi: w 1 Pedr 1, 5
ymaflaist yn fy llaw ddehau.
24 [x] Yn dy gyngor i'm harweini: ac wedi x Sal 32, 8
[hynny] i'm cymmeri [i] ogonaint. 2 Pedr 1, 11
25 [y] Pwy [sydd] gennifi yn y nefoedd [ond ty y Phil 3, 8
di?] ac ni ewyllysiais ar y ddaiar [neb] gyd Preg 1, 8
â thydi.
26 [z] Pallodd fyng-nhawd a'm calon, nerth z 1 Sam 27, 1
fyng-halon, a'm rhan [yw] Duw yn dragywydd. Sal 119, 57
27 [a] Canys wele difethir y rhai a bellhant oddi a Sal 119, 155
wrthit, peraist dorri ymmaith bob un a butteinio
oddi wrthit.
28 Minne, nessau [at] Dduw [sydd] dda i mi,
yn yr Arglwydd Dduw y gosodais fyng-obaith,
i draethu dy holl weithredoedd [ym mhyrth
merch Sïon.]

## PSALM LXXIV.

*Athrawiaeth i Asaph*

PA [b] ham Dduw y ciliaist yn dragywydd, [ac] b Sal 13, 1 Esa 10, 5 Amos 3, 6
y myga dy ddigofaint yn erbyn defaid dy
borfa?
2 Cofia dy gynnulleidfa ['r hon] a brynaist
gynt, [a] llwyth dy etifeddiaeth [yr hwn] a wa-
redaist: [sef] mynydd Sïon yr hwn y preswyl-

iaist ynddo.
e Dat 13 16 3 e Dercha dy draed i ddinistrio yn dragywydd
bob gelyn yr hwn a wnaeth niwed yn dy gyssegr.
d Dat 13 4,14 4 d Dy wrthwynebwyr a ruasant o fewn dy
gynnulleidfa: gosodasant eu baneran yn ar-
wyddion.
5 Hysod fydde (fel un yn dwyn [peth] i odid-
ogrwydd) [yr hwn a gode] fwyill mewn dyrys-
goed.
e Ex 32 11 6 e Ac yn awr y maent yn dryllio ei cherfiadau
en gyd â bwyill, ac â morthwylion.
f 2 Bren 25,9 1 Bren 8 29 7 f Bwriasant dy gyssegroedd yn tân, hyd
lawr yr halogasant breswylfa dy enw.
8 Dywedasant yn eu calonnau, Cyd-anrheith-
iwn hwynt, [felly] y llosgasant holl Demlau
Duw yn y tir.
g Gen 17 11 Esa 30,10 Dan 12,6 9 g Ni welwn ein harwyddion, nid [oes] bro-
phwyd mwy, nid oes gennym a wyr ddim
mwyach.
10 Pa hyd Dduw [i'th] warthrudda'r gwrth-
wyneb-wr? a gabla 'r gelyn dy enw yn dra-
gywydd?
h Cen 5,6 Sal 118 16 11 h Pa ham y tynni yn ei hôl dy law? [sef]
dy ddehen-law? [tynn hi allan] o ganol dy fon-
wes, [a] difetha hwynt.
12 Canys Duw [yw] fy Mrenin o'r dechreuad,
gwneuthur-wr [pob] iechydwriaeth o fewn y tir.
i Ex 14,21 18 Esec 29 3 13 i Ti yn dy nerth a barthaist y môr, dryll-
iaist bennau dreigiau yn y dyfroedd.
14 Ti a ddrylliaist ben Lefiathan, rhoddaist
ef yn fwyd i'r bobl [yn] yr anialwch.
Ex 17,6 15 j Ti a holltaist [y graig i fod] yn ffynnon, ac
yn afon, ti a ddiyspyddaist afonydd cedyrn.
k Mat 6 6 16 k Y dydd [sydd] eiddo ti, y nos hefyd
[sydd] eiddot ti: ti a baratoaist oleuni, a haul.
Act 17 6 17 l Ti a osodaist holl derfynau 'r ddaiar, ti a
luniaist hâf, a gaiaf.
Esa 6 Sal 39,8 18 m Cofia hyn, y gelyn a gablodd yr Arglwydd,
a phobl ynfyd a ddifenwasant dy enw.
Can 1 Sal 68,10 19 n Na ddyro enaid dy durtur i gynnulleid-
fa [y gelynnion,] nac anghofia gynnulleidfa dy
drueiniaid byth.
Sal 106 2,8 20 o Edrych ar y cyfammod, canys llawnwyd
tywyll-leoedd y tir o gorlannau trawster.
Iob 6 21 p Na ddychweled y tlawd yn wradwydd-
us, molianned y truan, a'r anghenus dy enw.
Sal 35,1 22 q Cyfod O Dduw dadleu dy ddadl, coffa
dy gabledd [yr hon a dderbynni] gan yr ynfyd
beunydd.
23 Nac anghofia lais dy elynnion, dadwrdd y
rhai a godant i'th erbyn sydd yn dringo yn was-
tadol.

Psalm LXXIV, 5.] "Hynod fydde," &c. Ier. viii, 21. Ezec. v, 15. Sef synded oedd (fel pan ddaliwyd arch Duw, 1 Sam iii. 11. a iv. 11.) weled pob gŵr yn torri cerfiadau y deml mor ddiarswyd, a phe torrid coed o'r gordwig!

Rhif. xii.

# PSALM LXXV.

*At y Pen-cerdd.* Na ddifetha. *Psalm neu Gân i Asaph.*

CLODFORWN r dydi O Dduw, clodfor- Boreuol weddi.
wn, canys agos [yw] dy enw: dy ryfedd- r Rhuf 10 8
odau a fynegant [hynny.] Sal 145,4
2 s Pan dderbynnwyf y gynnulleidfa, mi a s Sal 45,6
farnaf yn iniawn.
3 t Ymddatododd y ddaiar, ai holl drigolion: t Dan 2, 35
[a] mi a siccrheais ei cholofnau. Selah. Heb 1, 3
4 u Dywedais wrth y rhai ynfyd, Nac ynfyd- Dat 3, 12 u Sal. 5,5
wch: ac wrth y rhai annuwiol, Na dderchef- Zec 1,18
wch [eich] corn.
5 Na dderchefwch eich corn yn uchel, na
ddywedwch yn war-syth.
6 Canys nid o'r dwyrain, nac o'r gorllewyn,
nac o'r dehau [y daw] goruchafiaeth,
7 v O herwydd Duw sydd yn barnu, efe a v 1 Tim 4 1
ostwng y naill, ac a gyfyd y llall. Sal 113,7
8 w O blegit [y mae] phiol yn llaw 'r Ar- w Ier 25 15
glwydd, a'r gwin sydd gôch yn llawn cymmysc, Dat 14,10
ac efe a dywalltodd o hwnnw: etto holl annuw- Sal 51,17
olion y tir a wascant, [ac] yfant ei waelodion.
9 x Minne a fynegaf yn dragywydd, [ac] a x Dat 19 1
ganaf i Dduw Iacob.
10 y Torraf hefyd holl gyrn y rhai annuwiol, y Dat 17 13
[a] chyrn y rhai cyfiawn a dderchefir.

# PSALM LXXVI.

*At y Pen-cerdd ar Neginoth, Psalm neu Gân i Asaph.*

HYNOD z yw Duw yn Iuda, [a] mawr z Sal 147 19, 20
[yw] ei enw ef yn Israel. Esa 63,14
2 a Ei babell hefyd sydd yn Salem, ai drigfa a Gen 14 18
yn Sïon.
3 b Yna y drylliodd efe y saethau, y bwa, [a'r] b Sal 46 10
tarian: y cleddyf hefyd a'r frwydr. Selah.
4 c Discleiriach [wyt] ti, [a] chadarnach na my- c Sal 9, 2 Amos 4,1
nyddoedd yr yspeil-wyr.
5 d Yspeiliwyd y cedyrn galon, hunasant eu d Ex. 5,8
hun, a'r holl wŷr cedyrn o nerth ni chawsant 2 Bren. 19 35
[ddim.] Dat. 6,16
6 e Gan dy gerydd di O Dduw Iacob, y e Dat. 19 18
rhodded y cerbyd a'r march i gyscu.
7 f Tydi, tydi wyt ofnadwy, pwy a saif o'th f Ex. 15, 11
flaen pan [enynno] ddigter? Num 1,3
8 g O'r nefoedd y cyhoeddaist [dy] farn, ofn- g Barn 5 20
odd, a gostegodd y ddaiar.
9 h Pan gyfododd Duw i farnu, [ac] i achub h Sal. 97
holl rai llednais y tir. Selah. a 72, 4
10 i Canys cynddaredd dyn a'th folianna di, i Ester 9,9
[a] gweddill [eu] cynddaredd a ostegi di. Dat. 11 13
11 j Addunedwch, a thelwch i'r Arglwydd j Dat. 4,8
eich Duw: y rhai oll ydych oi amgylch of
dygwch anrheg i'r ofnadwy.
12 Efe a dyrr ymmaith yspryd tywysogion,
[ac efe sydd] ofnadwy i frenhinoedd y ddaiar.

# PSALM LXXVII.

*At Ieduthun y Pen-cerdd, Psalm i Asaph.*

k Sal. 5,2 A'M [k] llef y gwaeddaf ar Dduw: a'm llef,
a 50, 15 [y gwaeddaf] ar Dduw, ac efe a'm gwr-
endu.
l Esa. 26 2 [l] Ynnydd fynhrallod y ceisiais yr Arglwydd,
9 Luc 18, 1 fy archoll a redodd liw nos, ac ni pheidiodd: fy
enaid a wrthododd [ei] ddiddanu.
m Hab. 3 3 [m] Meddyliwn am Dduw pan i'm cythryblid,
16 Galar. 2 gweddiwn, pan derfyscer fy yspryd. Selah.
12 n Sal. 127 4 [n] Deliaist fy llygaid yn neffro, fe synnodd
2 arnaf, dychrynnais fel nad allwn lefaru.
o Rhuf 15 5 [o] [Yna]'r ystyriais y dyddiau gynt, [a] blyn-
4 Deut. 32 yddoedd yr hen oesoedd.
7 6 Meddylio yr ydwyf am fyng-hân, y nos yr
ydwyf yn myfyrio wrthif fy hun: fy yspryd
sydd yn chwilio [fel hyn:]
p Iona 2,4 7 [p] Ai yn dragywydd y cilia'r Arglwydd? ac
oni bydd efe bodlon mwy?
8 A ddarfu ei drugaredd ef tros byth? a balla
gair ei [addewid ef] yn oes oesoedd?
9 A anghofiodd Duw drugarhau, a gauodd
efe ei drugareddau mewn sorriant? Selah.
q Sal. 31 10 [q] A dywedais, dymma fyng-wendid, [etto
22 cofiaf] flynyddoedd deheu-law y Goruchaf.
r Sal. 143 11 [r] Cofiaf weithredoedd yr Arglwydd, ie
5 cofiaf dy wrthiau gynt.
12 Myfyriaf hefyd am dy holl weithredoedd,
ac am dy ddychymygion y chwedleuaf.
13 Dy ffordd O Dduw [sydd] mewn sanct-
eiddrwydd, pa Dduw [sydd] morr fawr a'n
Duw [ni?]
s Ex. 14 14 [s] Ti Dduw ydwyt yn gwneuthur rhyfeddod,
11 yspysaist dy nerth ym mysc y bobloedd.
15 Gwaredaist y bobl yn nerthol, [sef] meib-
ion Iacob, ac Ioseph. Selah.
t Ex. 14,21 16 [t] Y dyfroedd a'th welsant O Dduw, y
Sal. 114,3 dyfroedd a'th welsant, [ac] a ofnasant: y dyfn-
derau hefyd a gynhyrfwyd.
u Ex. 14 17 [u] Y cwmylau a bistyllasant ddwfr, yr
24, 25 Ios. 15,11 wybrennau a roddasant dwrwf: dy saethau
hefyd a gerddasant.
18 Twrf dy daran [a glywyd] o amgylch,
mellt a oleuasant y byd: cyffrodd, a chrynodd
y ddaiar.
v Num. 1 19 [v] Dy ffordd [sydd] yn y môr, a'th lwybrau
3 Neh 9,11 Rhuf. 12 yn y dyfroedd mawrion: ac nid adwaenir
33 2 Cor 5,7 dy ol.
Ex. 14,28 20 [w] Tywysaist dy bobl fel defaid drwy law
w Ex. 14 19 Moses, ac Aaron.
Mica 6,4 Act. 7,35

## PSALM LXXVIII.

36 Pryd-nawnol weddi.

*Athrawiaeth i Asaph.*

x Mat. 1 GWRANDO [x] fyng-hyfraith fy mhobl, gos-
tyngwch eich clust at eiriau fyng-enau.
21 Esa. 55,3 2 [y] Agoraf fyng-enau mewn dihareb, a thraeth-
y Mat. 5 af ddammegion o'r cynfyd.
2 a 13, 35 3 [z] Y rhai a glywsom, ac a wybuom, ac a fyneg-
z Ioan 3 11 odd ein tadau i ni.

4 [a] Ni chelwn rhag eu meibion, [eithr] myneg- a 1 Cor. 10
wn i'r oes nesaf foliant yr Arglwydd ai nerth, ai 31
ryfeddodau, y rhai a wnaeth efe.
5 Fel y cyfododd efe destiolaeth yn Iacob, ac
y gosododd gyfraith yn Israel: y rhai a orch-
ymynnodd efe i'n tadau eu dyscu i'w plant.
6 [b] Fel y gwybydde'r oes nesaf, [sef] y plant a b Esa. 59
ênyd, a [phan] gyfodent y mynegent [hwy] iw 14
plant hwythau.
7 Fel y gosodent eu gobaith ar Dduw, heb ang-
hofio gweithredoedd Duw, eithr cadw ei orch-
ymynnion ef.
8 [c] Ac na byddent fel eu tadau yn genhedlaeth c Ex. 32
gyndyn, ac annufydd, yn genhedlaeth nid yw 18 a 33, 9
iniawn ei chalon, ac nid yw ei hyspryd ffyddlon
i Dduw.
9 [d] Meibion Ephraim yn arfog [ac] yn saethu d 1 Cron
[â] bŵa, a droesant yn nydd y frwydr. 7, 21 Hos. 10,7
10 [e] Ni chadwasant gyfammod Duw, eithr e 2 Bren
gwrthodasant rodio yn ei gyfraith ef. 17, 14
11 [f] Ac anghofiasant ei weithredoedd, ai ry- f Esa. 1
feddodau y rhai a ddangosase efe iddynt. 10 Ier. 2,32
12 [g] Efe a wnaethe wrthiau o flaen eu tadau g Num
hwynt yn nhir yr Aipht, [ym] maes Zoan. 13, 23 Ezec. 19
13 Efe a barthodd y môr, ac a aeth â hwynt 14
drwodd, gwnaeth hefyd i'r dwfr sefyll fel pen-
twr.
14 Y dydd hefyd y tywysodd efe hwynt mewn
cwmwl, ac ar hŷd y nos wrth oleuni tân.
15 [h] Holltodd efe y creigiau yn yr anialwch, a h Ex. 17,6
rhoddes ddiod [oddi yno] megis [o] ddyfnderau 1 Cor. 10 4
dirfawr:
16 Canys efe a ddug lifeiriant o'r graig, ac a
dynnodd i lawr megis afonydd o ddyfroedd.
17 [i] Er hynny chwanegasant etto bechu yn ei i Esa 5,4
erbyn ef, gan ddigio y Goruchaf yn y diffaeth- Sal. 95,8 Heb. 3,5
wch:
18 A themptiasant Dduw yn eu calon, gan
ofyn bwyd wrth eu blŷs.
19 Llefarasant hefyd yn erbyn Duw, [ac] a
ddywedasant, A ddichon Duw arlwyo brwdd
yn yr anialwch?
20 [j] Wele efe a darawodd y graig, fel y pis- j Ex. 17,6
tyllodd dwfr, ac y llifodd afonydd, a ddichon Mat. 6,25 Sal. 136
efe roddi bara hefyd? a ddarpara efe gig iw 25
bobl?
21 Am hynny y clybu'r Arglwydd, ac y dig-
iodd, a thân a enynnodd yn Iacob, a digofaint
hefyd a gynneuodd yn Israel,
22 [k] Am na chredent yn Nuw, ac na obeithient k 1 Ioan 5
yn ei iechydwriaeth ef. 10 2 Cron
23 [l] Er hynny efe a orchymynnase i'r wybren- 20, 12 l 2 Bren. 7
nau oddi uchod, ac a agorase ddrysau y nefoedd, 19
24 Ac a lawiase Manna arnynt iw fwytta: ac
a roddase iddynt lynniaeth o'r nefoedd.
25 Dyn a fwyttaodd fara angelion, anfonodd

iddynt fwyd yn ddigonol.
m Num 26 [m] Gyrrodd y dwyrain-wynt hyd y nefoedd:
11, 31 ac yn ei nerth y dûg efe ddeheu-wynt.
27 Glawiodd hefyd gîg arnynt fel llŵch: ac
adar asgelloc fel tywod y môr.
28 Ac a wnaeth [iddynt] gwympo o fewn eu
gwerssyll, o amgylch eu presswylfeudd.
29 Felly y bwyttasant, ac y llwyr ddiwallwyd
hwynt, ac efe a barodd eu dymuniad iddynt.
n Num 30 [n] Ni omeddwyd hwynt o'r hyn a flysiasant
11, 33 [er hynny] tra yr ydoedd bwyd yn eu safnau.
31 Digllonedd Duw a gynneuodd yn eu her-
byn hwynt, ac efe a laddodd o'r rhai brasaf o
honynt, ac a ostyngodd etholedigion Israel:
o Num.14 32 [o] Er hyn oll pechasant etto, ac ni chredas-
16 ant iw ryfeddodau ef.
2 Cron. 33 [p] Am hynny y treuliodd efe eu dyddiau
28, 22 hwynt mewn oferedd, ai blynyddoedd mewn
p Sal. 90 dychryn.
4 Num 14
28
q Hos. 5 34 [q] Pan lladde efe hwynt, os ceisient ef, a
15 dychwelyd, a cheisio Duw yn foreu:
35 Os cofient mai Duw [oedd] eu craig, mai y
goruchaf Dduw [oedd] eu gwaredudd.
36 Er iddynt ragrithio iddo ef ai genau, a dy-
wedyd celwydd wrtho ai tafod,
r Sal.57,7 37 [r] Ai calon heb [fod] yn iniawn gyd ag ef,
a 112,7,8 nai bod yn ffyddlon yn ei gyfammod ef:
s Sal. 130 38 [s] Er hynny efe yn drugarog a faddeuodd
7 Iago 2,13 [eu] hanwiredd, ac ni ddifethodd [hwynt:] eithr
trodd ymmaith ei ddigofaint yn fynych, ac ni
chyffrodd ei holl lid.
t Sal. 103 39 [t] Eithr efe a gofie mai cnawd [oeddynt] hwy,
14, 15 Iago 4,14 [a] gwynt yn myned, ac heb ddychwelyd.
u Esa 63 40 [u] Pa sawl gwaith y digiasant ef yn yr an-
10 ialwch, ac y gofidiasant ef yn y diffaethwch?
v Deut.6 41 [v] Canys troasant, a phrofasant Dduw, a
16 themptiasant Sanct yr Israel.
42 Ni chofiasant ei nerth ef, [na'r] dydd y gwa-
redodd efe hwynt oddi wrth y gelyn.
43 Yr hwn a osododd ei arwyddion yn yr
Aipht, ai ryfeddodau ym maes Zoan.
w Ex. 7 44 [w] Ac a drodd eu hafonydd ai ffrydau yn
19, 20 Dat. 11 waed, fel na allent yfed.
8 a16,4,6
x Ex.8,24 45 [x] Anfonodd gymmysc-blâ yn eu plith, ac ai
Dat.16,13 difâodd hwynt: a llyffaint iw difetha hwynt.
y Ex. 10 46 [y] Efe a roddodd eu cnŵd hwynt i'r Locust,
13 Dat. 9, 3 ai llafur i'r celioc rhedyn.
47 Destruwiodd eu gwin-wŷdd â chenllysc,
ai sycomor-wŷdd â chesair.
z 2 Bren 48 [z] Rhoddodd hefyd eu hanifeiliaid i'r cen-
12, 9 llysc, ai cyfoeth i'r mellt.
49 Anfonodd arnynt gynddaredd ei lid, llid-
iawgrwydd, a digter, a chyfyngder, trwy anfon
angelion drwg.
50 Cymhwysodd ffordd iw ddigofaint, hid at-
taliodd eu henaid oddi wrth angeu: ai bywyd
a roddodd efe i'r haint.
51 [a] Tarawodd hefyd bob cyntaf-anedic yn yr a Ex. 12
Aipht, sef blaenion eu nerth hwynt ym mhebyll 29 Gen.20,6
Cam.
52 Ond efe a yrrodd ei bobl ei hun fel defaid,
ac ai harweiniodd hwynt fel praidd trwy'r anial-
wch.
53 Tywysodd hwynt hefyd yn ddiogel fel nad
ofnnsant: a'r môr a orchguddiodd eu gelynnion
hwynt.
54 [b] Hwythau a ddug efe i oror ei sancteidd- b Deut
rwydd: [i'r] mynydd hwn a ennillodd ei dde- 11, 11 Sal. 4, 3
heulaw ef.
55 [c] Ac efe a yrrodd allan genhedloedd oi c Deut. 7
blaen hwynt, ac a rannodd iddynt [eu] rhan-dir 1 Ios. 13, 7
[hwynt] yn etifeddiaeth: gwnaeth i lwythau Esa. 26 10
Israel drigo yn eu bebyll hwynt. Deut. 4 46
56 Er hynny temptiasant, a digiasant Dduw
goruchaf, ac ni chadwasant ei destiolaethau.
57 [d] Eithr ciliasent a buant anffyddlon fel eu d Num
tadau: troasant fel bŵa twyllodrus. 14, 29 Ios. 7, 16
58 [e] Digiasant ef hefyd ai huchel-fannau: a e 1 Bren
llidiasant ef ai cerfiedic ddelwau. 11, 7 Ex. 20, 4
59 Clybu Duw [hyn] ac a ddigiodd, ac a
ddiystyrodd Israel yn ddirfawr.
60 Gadawodd hefyd tabernacl Silo, y bebell a
osodase efe ym mysc dynnion.
61 [f] A rhoddes ei nerth mewn caethiwed, ai f 1 Sam. 4
brydferthwch yn llaw'r gelyn. 11
62 Rhoddes hefyd ei bobl i'r cleddyf, a dig-
iodd wrth ei etifeddiaeth.
63 Tân a yssodd ei wŷr ieuangc, ai forwynion
ni phriodwyd,
64 [g] Ei offeiriaid a laddwyd â'r cleddyf, ai g 1 Sam. 4
wragedd gweddwon nid wylasant. 11, 19
65 Yna y deffrodd yr Arglwydd fel [un] o
gyscu: fel cadarn yn bloeddio wedi gwîn.
66 Ac efe a darawodd ei elynnion yn ei hol:
rhoddes iddynt warth tragywydd.
67 [h] Gwrthododd hefyd babell Ioseph, ac ni h 1 Sam. 5
etholodd lwyth Ephraim. 12
68 Ond efe a etholodd lwyth Iuda, sef mynydd
Sion yr hwn a hoffodd efe.
69 [i] Ac a adailadodd ei gyssegr fel [llŷs] uchel: i 1 Bren. 6
fel y ddaiar yr hon a seiliodd efe yn dragywydd. 1, 2
70 [j] Etholodd hefyd Ddafydd ei was, ac ai j 1 Sam. 16
cymmerth o gorlannau y defaid. 13 Amos 7
71 [k] Oddi ar ol [y defaid] cyfebrion y daeth ag 14, 15 k 1 Cr. 6, 5
ef i borthi Iacob ei bobl, ac Israel ei etifeddiaeth. 2 Sam. 5, 2
72 Yntef ai porthodd hwynt yn ol perffeith-
rwydd ei galon, ac ai trinodd wrth gyfarwydd-
yd ei ddwylo.

## PSALM LXXIX.

Boreuol weddi.

*Psalm i Asaph.*

Y CENHEDLOEDD O Dduw a ddaethant l Ex. 15, 17
i'th etifeddiaeth, halogasant dy Deml sanct- Sal. 74, 7 Mic. 3, 12

aidd [a] gosodasant Ierusalem yn garneddau.
m Sal.74 19 2 [m] Rhoddasant gelanedd dy weision yn fwyd i
Dat.19.17 adar y nefoedd, [a] chig dy sainct i fwyst-filod
y ddaiar.
n Preg.6 3 3 [n] Tywalltasant eu gwaed fel dwfr o amgylch
Ierusalem, ac nid [oedd ai] cladde.
4 Yr ydym ni yn wrathrudd i'n cymmydog-
ion, dirmyg, a gwatwargerdd i'r rhai ydynt
o'n hamgylch.
o Ezec. 36, 5 5 [o] Pa hyd Arglwydd? a ddigi di 'n dragy-
wydd? a lysc dy eiddigedd di fel tân?
p Dat. 16 1 6 [p] Tywallt dy lid ar y cenhedloedd, y rhai
2 Thes. 1 ni'th adnabuant: ac ar y teyrnasoedd y rhai ni
8 Ier. 10,25 alwasant ar dy enw.
7 Canys yssasant Iacob, ac a wnaethant ei
bresswylfa ef yn anghyfannedd.
q Esa. 64 9 8 [q] Na chofia 'r anwireddau gynt i'n herbyn,
Sal. 41,1 bryssia, [a] rhacflaened dy dostur drugareddau
ni: canys llesc iawn ydym.
r 2 Cron 14, 11 9 [r] Cynnorthwya ni O Dduw ein iechydwr-
Ios. 7, 9 iaeth er mwyn gogoniant dy enw: gwaret ni he-
Sal.106,8 fyd, a thrugarhâ wrth ein pechodau er dy enw.
s Dat. 18 24 10 [s] Pa ham y dywed y cenhedloedd, Pa le [y
Ier.51,36 mae] eu Duw hwynt? bydded hyspys ym mhlith
y cenhedloedd yn ein golwg ni [pa] ddial [a ddaw
am] waed dy weision yr hwn a dywalltwyd.
t Sal. 12,5 11 [t] Deued ucbenaid y carcharorion ger dy
Diar. 30 7 fron, yn ol mawredd dy nerth cadw blant mar-
wolaeth.
12 Tâl i'm cymmydogion ar y seithfed i'w
monwes y gabledd, drwy 'r hon i'th gablasant
di O Arglwydd.
13 A ninneu dy bobl, a defaid dy borfa a'th
foliannwn di yn dragywydd: ac a ddadcanwn
dy foliant o genhedlaeth i genhedlaeth.

## PSALM LXXX.

*At y Pen-cerdd ar chwe-thant, testiolaeth [neu] Gân i Asaph.*

u 1 Ioan 10, 11 GWRANDO [u] O fugail Israel, yr hwn wyt
1 Pedr 2 yn arwain Ioseph fel defaid: ymddiscleiria
11 Sal.77,20 yr hwn wyt yn eistedd ar y Cerubiaid.
a 50, 2 2 Cyfot dy nerth o flaen Ephraim, Beniamin a
a 94, 1 Manasses, a thyret yn iechydwriaeth i ni.
v Sal 4,6 3 [v] Dychwel ni O Dduw, a llewyrcha dy wy-
Num. 6 25, 26 neb, ac ni a achubir.
4 O Arglwydd Dduw 'r lluoedd, pa hyd y
sorri wrth weddi dy bobl?
w Sal.42 3 5 [w] Gwnaethost iddynt fwytta bara dagrau, a
Esa. 30 diodaist hwynt â dagrau [wrth] fesur mawr.
20 x Sal. 79 6 [x] Gosodaist ni yn gynnen i'n cymmydogion,
4 a'n gelynnion a'n gwatwarent yn eu mysc eu hun.
Barn. 16 25 7 O Dduw 'r lluoedd dychwel ni, a thywyn-
Dat. 11 10 na dy wyneb, ac ni a achubir.
y Ier.2,21 8 [y] Mudaist win-wydden o'r Aipht, bwriaist y
Sal.78,55 cenhedloedd allan, a phlennaist hi.
z Ex. 23 9 [z] Arloesaist o'i blaen, a pheraist i'r gwraidd
28 Ios.24,12 wreiddio, a hi a lanwodd y tir.
10 Cuddiwyd y mynyddoedd gan ei chyscod:
ai changhennau [oeddynt fel] cedr-wydd rha-
gorol.
11 [a] Hi a estynnodd ei changau hyd y môr, a Sal. 72
ai brig hyd yr afon. 8
12 Pa ham y rhwygaist ei chaeau, fel y tynno
pawb a'r a elo heibio [ar hyd] y ffordd [ei]
grawn hi?
13 [b] Y baedd o'r coed ai turiodd, a bwyst-fil y b Dat. 17
maes ai porodd. 6 a 13,5
14 O Dduw'r lluoedd dychwel attolwg: ed-
rych o'r nefoedd a chenfydd: ac ymwel a'r
win-wydden hon.
15 [c] A'r winllan yr hon a blannodd dy ddeheu- c Esa. 49
law, ac a'r planhigin [yr hwn] a gadarnheaist i
ti dy hun.
16 Lloscwyd hi â thân, [a] thorwyd hi i lawr:
gan gerydd dy wyneb y difethir hwynt.
17 [d] Bydded dy law dros ŵr dy ddeheu-law: d Col. 1
a thros fab dyn [yr hwn] a gadarnheaist i
ti dy hun. Act. 5,
18 Ac ni chiliwn ni oddi wrthit ti, bywhâ ni,
ac ni a alwn ar dy enw,
19 O Arglwydd Dduw'r lluoedd tro ni: lle-
wyrcha dy wyneb, ac ni a achubir.

## PSALM LXXXI.

*At y Pen-cerdd ar y Gittith, Psalm i Asaph.*

CENWCH [e] yn llafar i Dduw ein cadernid:
cenwch yn llawen i Dduw Iacob.
2 Cymmerwch psalm, a moeswch dympan,
telyn fwyn, a nabl.
3 [f] Ud-cenwch udcornar loer newydd, ar amser
nodedic, yn nydd ein uchelŵyl.
4 Canys deddf [yw] hyn i Israel, [a] defod i
Dduw Iacob.
5 [g] Efe ai gosododd yn destiolaeth yn Ioseph:
pan aeth efe allan o dir yr Aipht [lle] y clywais
iaith ni ddeallwn.
6 [h] Tynnais ei yscwydd oddi wrth y baich, ei h Ex.1.11
ddwylo a ymadawsant a'r crochanau. 14
7 [i] Mewn cyfyngder y gelwaist, ac mi a'th i Ex.14.10
waredais: gwrandewais di yn nirgelwch y da-
ran, profais di wrth ddyfroedd Meribba. Selah.
8 [j] Clyw fy mhobl, a mi a destiolaethaf i ti
Israel, os gwrandewi arnaf.
9 Na fydded ynot Dduw arall, ac nac ym-
grymma i Dduw dieithr.
10 [k] Myfi 'r Arglwydd dy Dduw [yw] 'r hwn
a'th ddug i fynu o dir yr Aipht: Lleda dy
safn, ac mi ai llanwaf.
11 Ond ni wrandawe fy mhobl ar fy llef, ac
Israel nid ufuddhâe i mi.
12 [l] Yna y gollyngais hwynt yng-hyndynrwydd
eu calon, aethant wrth eu cyngor eu hunain.
13 Oh na wrandawe fy mhobl arnaf fi: [na]
rodie Israel yn fy ffyrdd mau fi.

m 2 Sam. 7, 12 14 [m] Buan y gostyngwn eu gelynnion: ac y
troiwn fy llaw 'n erbyn eu gwrthwyneb-wyr.
15 [n] Caseion yr Arglwydd a gymmerent ar-
n Rhuf. 1, 30 nynt ymostwng iddo ef, ai hamser bwythau
fydde'n dragywydd.
o Deut. 32, 13 16 [o] Bwydid ef hefyd â brasder gwenith: ac â
mêl o'r graig i'th ddiwallwn.

## PSALM LXXXII.

Pryd-nawnol weddi.

*Psalm i Asaph.*

p Preg. 5, 8 Ex. 21, 6 DUW [p] sydd yn sefyll yng-hynnulleidfa
duwiau: ym mhlith duwiau y barn efe.
2 Pa hŷd y bernwch ar gam? ac y cymmer-
wch blaid y rhai annuwiol? Selah.
q Ier. 22, 3 3 [q] Bernwch [yn iniawn] y tlawd a'r ymddi-
fad, cyfiawnhewch y truan a'r rheidus.
r Iob 29, 12 4 [r] Gwaredwch y tlawd a'r anghênus: achub-
wch [hwynt] o law y rhai annuwiol.
s Mica 3, 1, 9 Sal. 11, 3 5 [s] Ni wyddant, ac ni ddeallant, mewn tywyll-
wch y rhodiasant: [a] holl sylfaenau y ddaiar a
symmudwyd oi lle.
t Ioan 10, 34 6 [t] Myfi a ddywedais, Duwiau [ydych] chwi:
a meibion y Goruchaf [ydych] chwi oll.
u Iob 21, 32 7 [u] Diau y byddwch feirw fel dynnion, ac fel
un o'r tywysogion y syrthiwch.
v Gen. 18, 25 Dat. 11, 15 8 [v] Cyfot O Dduw, [a] barna 'r ddaiar, canys
ti a etifeddi 'r holl genhedloedd.

## PSALM LXXXIII.

*Cán neu Psalm i Asaph.*

w Sal. 28, 1 O [w] DDUW na ostega, na thaw, ac na fydd
lonydd O Dduw.
x Act. 9, 4 Sal. 81, 15 Dat. 18, 7 2 [x] Canys wele dy elynnion sydd yn terfysco,
a'th gaseion yn cyfodi eu pennau.
y Col. 3, 3 3 [y] Ymgyfrinachasant yn ddichellgar yn erbyn
dy bobl, ac ymgynghorasant yn erbyn dy rai
dirgel di.
z Diar. 1, 11 Ester 3, 9 4 [z] Dywedasant, Deuwch, a difethwn hwynt
fel na byddant yn genhedlaeth, ac na chofier
enw Israel mwyach.
a Dat. 17, 3 5 [a] Canys ymgynghorasant yn un-fryd, ac
ymwnaethant i'th erbyn.
b Sal 60, 9 Sal. 4, 22 1 Cron. 5, 10 6 [b] Pebyll Edom, a'r Ismaeliaid, y Moabiaid,
a'r Hagariaid.
7 Y Gebaliaid, a'r Ammoniaid a'r Amalec-
iaid, y Philistiaid gyd â phresswyl-wyr Tyrus.
c Gen. 10, 22 1 Cron. 20, 1 8 [c] Assur hefyd a ymgwplysodd â hwynt,
bu[a]nt fraich i blant Lot. Selah.
d Num. 31, 7 Barn. 4, 21 9 [d] Gwna di iddynt fel [i] Madian, megis i
Sisara, [ac] megis [i] Iabin wrth afon Cizon.
10 Yn Endor y difethwyd hwynt, [ac] y bu-
ant yn dail i'r ddaiar.
e Barn. 8, 21 11 [e] Gosot hwy ai boneddigion fel Oreb, a Zeb,
ai holl dywysogion fel Zeba, a Salmunah.
12 Y rhai a ddywedasant, Gorescynnwn i ni
gyfanneddau Duw.
f Sal. 68, 2 13 [f] Gosot hwynt O fy Nuw fel olwyn, [ac]
fel soft o flaen y gwynt.

14 [g] Fel y llysc tân goed, ac fel y goddeithio g Deut. 33, 22
fflam fynyddoedd:
15 [h] Felly erlit ti hwynt a'th demhestl, a dy- h Iob 9, 17
chryna hwynt a'th gor-wynt.
16 [i] Llanw di eu hwynebau â gwarth, fel y i Dat. 6, 15 Sal. 58, 11 Mal. 3, 18
ceisiant dy enw O Arglwydd.
17 Cywilyddier, a thralloder hwynt yn dra-
gywydd: gwradwydder hefyd, a difether hwynt.
18 [j] Fel y gwypont mai tydi yn unic [yr hwn j Sal. 9, 16
wyt] Iehofa [wrth] dy enw, [wyt] Oruchaf ar Dat. 3, 4, 8
yr holl ddaiar. a 11, 17 Act. 17, 23

## PSALM LXXXIV.

*At y Pen-cerdd ar y Gittith, Psalm i feibion Corah.*

MOR [k] hawddgar [yw] dy bebyll di O Ar- k Sal. 27, 4
glwydd y lluoedd. Dat. 4, 1
2 [l] Fy enaid a chwennychodd, ac a flysiodd 3 a 22, 1, 2
hefyd am dy gynteddau di O Arglwydd: fyng- 1 Dat. 22, 17
halon a'm cnawd a orfoleddant yn Nuw byw.
3 Aderyn y tô hefyd a gafodd dŷ, a'r wennol
nŷth iddi, lle y gesid ei chywion: sef dy allor-
au di O Arglwydd y lluoedd fy Mrenin a'm
Duw.
4 [m] Gwynfyd presswylwyr dy dŷ: yn wastad m Dat. 2, 1
i'th foliannant. Selah. a 4, 8, 9
5 Gwyn ei fyd y dyn y mae ei gadernid ynot,
[a'th] ffyrdd yn ei galon.
6 [n] Y rhai sydd yn myned trwy ddyffryn wyl- n Ier. 2, 13 2 Cor. 9, 5, 6
ofain ai gosodant yn ffynnon, a'r glaw a leinw
y llynnau.
7 [o] Ant o nerth i nerth, [ac] ymddengys [pob o Diar. 4, 18
un] ger bron Duw yn Sion. 2 Cor. 3, 18
8 O Arglwydd Dduw'r lluoedd clyw fyng- Zec. 14, 17
weddi, gwrando O Dduw Iacob. Selah.
9 [p] O Dduw ein tarian gwel, ac edrych wyneb p Sal. 2, 2
dy eneiniog.
10 Canys gwell yw diwrnod yn dy gynteddau
di na mîl: dewiswn gadw drws yn nhŷ fy Nuw
o flaen trigo ym-mhebyll annuwioldeb. q Esa. 60, 19
11 [q] Canys haul, a tharian yw'r Arglwydd Dat. 21, 23
Dduw, yr Arglwydd a rydd rad a gogoniant:
ni attal efe ddaioni oddi wrth y rhai a rodiant yn
berffaith.
12 [r] O Arglwydd y lluoedd gwynfyd y dyn a r Sal. 2, 2
ymddyried ynot.

## PSALM LXXXV.

*At y Pen-cerdd o feibion Corah, Psalm.*

GRAS-LAWN [s] wyt O Arglwydd i'th dir, s Sal. 14, 7
dychwelaist gaethiwed Iacob.
2 Maddeuaist anwiredd dy bobl: a chuddiaist
eu holl bechod. Selah.
3 [t] Tynnaist ymmaith dy holl lid, troaist oddi t 2 Cor. 1
wrth lidiawgrwydd dy ddigter.
4 Troa ni O Dduw ein iechydwriaeth: a thorr
dy ddigofaint wrthym.
5 Ai byth y digi wrthym? a estynni di dy
sorriant hyd genhedlaeth a chenhedlaeth?

u Hab. 3 2 6 [u] Oni throi di a'n bywhau ni, fel y llawen-
ycho dy bobl ynot ti?
v Luc 2, 30 7 [v] Dangos i ni, Arglwydd dy drugaredd: a
dod ti i ni dy iechydwriaeth.
w Hab. 2 1 8 [w] Gwrandawaf beth a ddywed yr Arglwydd
Iob 34,29 Dduw [am danaf fi:] canys efe a draetha hedd-
2 Pedr 2 21 wch i'w bobl, ac i'w saint, fel na throant i yn-
x Luc 18,7 fydrwydd.
Ioan 1,14 2 Cor. 3 9 [x] Diau [fod] ei iechid ef yn agos i'r rhai ai
18. hofnant ef: fel y trigo gogoniant yn ein tir ni.
y Luc 1 68 10 [y] Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant:
Rhuf. 14 17 cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant.
Luc 2,14 z Heb. 6 11 [z] Gwirionedd a dardda o'r ddaiar, a chyf-
6, 7 iawnder a edrych o'r nefoedd.
Iago 1,17 a Sal. 67,7 12 [a] Yr Arglwydd hefyd a rydd ddaioni a'n
daiar a rydd ei chnwd.
b Sal. 72 2, 3 13 [b] Cyfiawnder a aiff oi flaen ef: ac efe a esid
Dat. 15,4 ei draed ar y ffordd.

## PSALM LXXXVI.

Boreuol weddi.

*Gweddi Dafydd.*

c Sal. 6,2 GOSTWNG [c] O Arglwydd dy glust, [a]
gwrando fi: canys truan a thlawd
[ydwyf] fi.
2 Cadw fy enaid canys duwiol [ydwyf fi:]
achub di dy was O Dduw'r hwn sydd yn ym-
ddyried ynot,
d Luc 18,1 3 [d] Trugarha wrthif Arglwydd, canys arnat y
llefaf beunydd.
4 Llawenha enaid dy was, canys attat y
derchafaf fy enaid.
e Sal. 25 11 a 130,7 5 [e] Canys ti O Arglwydd [ydwyt] dda a thru-
garog: ac o fawr drugaredd i'r rhai oll a al-
want arnat.
f Iago 5 16 6 [f] Clyw Arglwydd fyng-weddi: ac ystyria ar
lais fy ymbil.
7 Yn nydd fyng-hyfyngder y llefaf arnat:
canys gwrandewi fi.
g Ex. 15 11 8 [g] Nid [oes] fel tydi ym mysc y duwiau: nac
Sal. 111,1 fel dy weithredoedd di O Arglwydd.
a 136, 4. 9 Yr holl genhedloedd y rhai a wnaethost a
ddeuant, ac a addolant ger dy fron di O Ar-
glwydd: ac a ogoneddant dy enw.
10 [h] Canys [ydwyt] fawr, ac yn gwneuthur
h 1 Cor. 8 4 rhyfeddodau: ti yn unic [wyt] Dduw.
Eph. 4,6 i Ier. 10 23 11 [i] Dysc i mi dy ffordd O Arglwydd, ac mi
2 Cor. 1, 18 a rodiaf yn dy wirionedd di: una fyng-halon
Eph. 4,13 [â thi,] fel yr ofnwyf dy enw.
j 1 Cor. 6 20 12 [j] Moliannaf di O Arglwydd fy Nuw a'm
a 10, 31 holl galon: a gogoneddaf dy enw yn dragywydd.
13 Canys mawr [yw] dy drugaredd tu ag attafi,
a gwaredaist fy enaid o uffern issod.
k Dat. 18 7 14 [k] Rhai beilchion a gyfodasant i'm herbyn
O Dduw, a chynnulleidfa y cedyrn a geisiasant
fy enaid, ac ni'th osodasant di ger eu bron.
l Ex. 34,5 6 15 [l] Eithr ti O Arglwydd Dduw [ydwyt] dru-
garog, a gras lawn: hwyrfrydic i lid, ac aml
o drugaredd a gwirionedd.
16 [m] Edrych arnaf, a thrugarha wrthif: dod ti dy m Luc 1 48
nerth i'th was, ac achub fab dy wasanaethferch.
17 [n] Gwna di i mi arwydd daioni, fel y gwelo n Luc 41
fyng-haseion, ac y gwradwydder hwynt, am i ti 30 Sal. 41,10
O Arglwydd fyng-hynnorthwyo a'm diddanu.

## PSALM LXXXVII.

*Psalm neu gân i feibion Corah.*

EI sail [a osodwyd] ar y mynyddoedd sanct-
aidd.
2 [o] Yr Arglwydd a gâr byrth Sïon yn fwy na o Dat. 21 18
holl bresswylfeydd Iacob.
3 [p] Gogoneddus [bethau] a ddywedir am danat p Esa. Pen. 60
ti O ddinas Dduw. Selah.
4 [q] Coffâf Rahab a Babilon wrth fyng hydna- q 1 Pedr 5, 13
bod: wele Palestina a Thyrus yng-hyd ac Eth- Act. 2,5 a 8, 27
iopia: yno y ganwyd hwn. 1 Pedr 1 23
5 [r] Ac am Sïon y dywedir, Llawer gwr a an- r Act. 2,9
wyd ynddi, a'r Goruchaf ei hun ai siccrha hi. Mat. 16 18
6 Yr Arglwydd a gyfrif pan scrifenno y bobl
eni hwn yno. Selah.
7 [s] Y cantorion a'r cerddorion [a'th folant,] fy s Dat. 7 15
holl ffynhonnau [ydynt] ynot ti.

## PSALM LXXXVIII.

*Psalm neu Gân i feibion Corah, at y pen-cerdd ar y Machal-ath i ganu, sef athrawiaeth Heman yr Ezrahiad.*

O [t] ARGLWYDD Dduw fy iechydwriaeth, t Ex. 15,2 Luc 18, 7
gwaeddais o'th flaen ddydd a nos. Sal. 86, 3
2 [u] Deued fyng-weddi ger dy fron, gostwng dy u Galar. 3 8
glust at fy llefain.
3 Canys fy enaid a lanwyd o ddrygau, a'm
heinioes a aeth i'r beddrod.
4 Cyfrifwyd fi gyd a'r rhai a ddescynnent i'r
pwll: oeddwn fel gwr heb nerth.
5 [v] Yn rhydd ym mysc meirw, fel rhai wedi eu v Sal. 31
harcholli yn gorwedd mewn bedd: y rhai ni chof- 12 Esa. 53,8
iaist mwy, canys hwynt a dorrwyd oddi wrth
dy law.
6 [w] Gosodaist fi yn y pwll issaf mewn tyw- w Sal. 69
yllwch, [ac] yn y dyfnder. 2 a 42, 7
7 Arnaf y pwysa dy ddigofaint, ac a'th holl
donnau i'm cystuddiaist. Selah.
8 [x] Pellheaist fyng-hydnabod oddiwrthif, [a] x Iob 19, 13
gosodaist fi'n ffieidd-dra iddynt: gwarchawyd fi Sal. 31,11 Galar. 3
fel nad awn allan. 7
9 Fyng-olwg a ofidiodd gan fyng-hystudd,
llefais arnat Arglwydd beunydd: [ac] estyn-
nais fy nwylo attat.
10 Ai i'r meirw y gwnei ryfeddod? a gyfyd y
meirw a'th foliannu di? Selah.
11 [y] A dreuthir dy drugaredd di mewn bedd? y Sal. 30 9
a'th wirionedd yn nestruw?
12 [z] A adwaenir dy ryfeddod mewn tywyll- z Iob 10,21
wch? a'th gyfiawnder yn nhir anghof? 22 Sal. 31,12
13 Ond myfi a lefais arnat Arglwydd: yn Preg. 9,
foreu y daw fyng-weddi o'th flaen. 10 a 5, 3

a Iob 19,7 14 [a] Pa ham Arglwydd y gwrthodi fy enaid?
[ac] y cuddi dy wyneb oddi wrthif?
15 Truan ydwyfi, ac ar drangedigaeth o'm
hieuengctid, dygais dy ofn, ac yr ydwyf yn pet-
truso.
16 Dy sorriant a aeth trosof, dy arswyd a'm
torrodd ymmaith.
b 1 Sam 17 [b] Fel dwfr i'm cylchynasant beunydd: ac
13,26 i'm cyd am-gylchasant.
c Sal. 38 18 [c] Pellheaist [bob] câr a chyfaill oddi wrthif:
11 Iob19,13 fyng-hyd-nabod [ydynt] yn ymguddio.

## PSALM LXXXIX.

*Athrawiaeth Ethan yr Ezrahiad.*

Pryd- awnol reddi. Sal.101 TRUGAREDDAU'R [d] Arglwydd a ddat-
Luc 1,50 canaf byth, a'm genau y mynegaf dy wir-
ionedd di o genhedlaeth hyd genhedlaeth.
Dat.4,1 2 [e] Canys dywedais yr adeiledir trugaredd yn
15,1 dragywydd: yn y nefoedd y cadarnhei dy wir-
ionedd.
Pedr 2 3 [f] Gwneuthum ammod a'm etholedig, tyngais
sec. 34 i'm gwâs Dafydd.
r.30,9 4 [g] Yn dragywydd y siccrhâf dy hâd ti: ac o
ss. 3,5 t. 15 genhedlaeth i genhedlaeth yr adailadaf dy or-
Heb.13 seddfaingc di. Selah.
it.3,23 5 [h] Am hynny O Arglwydd, y nefoedd a foli-
c 1,32 annant dy ryfeddod, a'th wirionedd yng-hyn-
Phil. 2 nulleidfa y sainct.
it.7,10 6 Canys pwy yn yr wybrennau a gystedlir a'r
13 Arglwydd? [pwy] a gyffelybir i'r Arglwydd ym
mysc y duwiau?
it.15,4 7 [i] Duw sydd ofnadwy iawn yng-hynnulleid-
4 fa'r sainct: ac iw arswydo yn ei holl amgylch-
oedd.
8 O Arglwydd Dduw'r lluoedd pwy sydd fel
tydi yn gadarn Iôr, a'th wirionedd o'th amgylch?
.93,3 9 [j] Ti ydwyt yn llywodraethu ymchwydd y
môr, pan gyfodo ei donnau ti ai gostegi.
10 Ti a drybaeddaist yr Aipht fel [un] lladd-
edic: drwy nerth dy fraich y gwasceraist dy
elynnion.
Iron. 11 [k] Y nefoedd[ydynt]eiddo ti, a'r ddaiar[sydd]
1 eiddo ti: ti a seiliaist y byd ac sydd ynddo.
12 Ti a greaist ogledd a dehau: Thabor a
Hermon a lawenychant yn dy enw.
13 [Y mae] i ti fraich, a chadernid, cadarn yw
dy law, ac uchel yw dy ddeheu-law.
14 Cyfiawnder, a barn [yw] trigfa dy orsedd-
faingc: trugaredd a gwirionedd a ragflaenant
dy wyneb.
m.1 15 [l] Gwyn ei fyd y bobl y rhai a fedrant lawen-
12 ychu [ynot:] yn llewyrch dy wyneb O Argl-
wydd y rhodiant hwy.
16 Yn dy enw di y gorfoleddant beunydd, ac
yn dy gyfiawnder yr ymdderchafant.
Cor.7 17 [m] Canys godidawgrwydd eu cadernid hwynt
74,10 [ydwyt] ti, ac o'th ewyllys da y derchefi ein
cyrn ni.
18 Canys o'r Arglwydd [y mae] ein tarian ac
o Sanct Israel [y mae] ein Brenin.
19 [n] Yna'r ymddiddenaist mewn gweledigaeth n Esa. 9,6
a'th sainct,ac a ddywedaist, Gosodais gymmorth a 42, 1
ar [un] cadarn: ac a dderchefais [un] etholedic
o'r bobl.
20 Cefais Ddafydd fyng-wasanaeth-wr [ac]
eneiniais ef a'm holew sanctaidd.
21 [o] Yr hwn y cadarnheuir fy llaw gyd ag ef: o Sal. 2,6
a'm braich ai nertha ef.
22 [p] Ni orthrymma y gelyn ef, a'r mab anwir p Ioan 14
nis cystuddia ef. 13 1 Cor. 15
23 [q] Canys coethaf ei elynnion oi flaen, ai 26 2 Tim.2,3
gaseion a darawaf. q Sal. 110 1
24 [r] Fyng-wirionedd hefyd, a'm trugaredd Dan. 2,
[fyddant] gyd ag ef: ac yn fy enw y derchefir 35 r Phil.2,9
ei gorn ef. Eph.1,20 21
25 [s] A gosodaf ei law ar y môr, ai ddeheulaw s Sal.72,8
yn yr afonydd.
26 [t] Efe a'm geilw [gan ddywedyd,] Ti [yw] t Heb.1,4 5
fy Nhad, fy Nuw a chraig fy iechydwriaeth.
27 [u] Minne ai rhoddaf yntef yn gynfab, gor- u Col. 1
uchaf ar frenhinoedd y ddaiar. 15, 18 Dat. 21,
28 [v] Cadwaf iddo fy nhrugaredd yn dragyw- 24 Num. 24
ydd: a'm cyfammod fydd ffyddlon iddo ef. 7 v Esa. 54
29 [w] Gosodaf hefyd ei hâd yn dragywydd: ai 10
orsedd-faingc fel dyddiau y nefoedd. w Heb. 9 13
30 [x] Os ei feibion a adawant fyng-hyfraith: ac Luc 1,33 Dat. 3,21
ni rodiant yn fy marnedigaethau. x 1 Pedr 2, 22
31 Os fy neddfau a halogant: a'm gorchym-
ynnion ni chadwant.
32 [y] Yna gofwyaf eu camwedd â gwialen, ai y Heb. 12 10
hanwiredd â ffrewyllau.
33 [z] Ond ni thorraf fy nhrugaredd oddi wrtho z Rhuf. 8 35
ef: ac ni phallaf o'm gwirionedd.
34 [a] Ni thorraf fyng hyfammod: ac ni newid- a Mal.3,6 Iago 1,17
iaf yr hyn a ddaeth allan o'm genau.
35 [b] Tyngais unwaith i'm sancteiddrwydd na b Heb. 6 13
phallwn i Ddafydd [gan ddywedyd,]
36 [c] Bydd ei hâd ef yn dragywydd: ai orsedd- c Sal. 72 17
faingc fel yr haul ger fy mron i.
37 [d] Siccrheir ef yn dragywydd fel y lleuad, d Ier. 33 20
ac [fel] y tystion ffyddlon yn yr wybr. Selah.
38 [e] Ond ti a ffieiddiaist, ac a ddiystyriaist, [ac] e 2 Bren. 23, 10
a ddigiasit wrth dy eneiniog.
39 [f] Diddymmaist gyfammod dy was, halog- f Galar.5 16
aist ei goron [gan ei thaflu] i lawr.
40 [g] Drylliaist ei holl gaeau ef, gosodaist ei g Sal. 80 12
amddeffynfeuydd yn adwyau.
41 [h] Yr holl fforddolion ai hyspeiliasant ef: h Act.9,4 Mat. 25 40
aeth yn warthrudd i'w gymmydogion.
42 [i] Derchefaist ddeheu-law ei wrthwyneb- i Esa.10,4
wyr ef, [a] llawenheaist ei holl elynnion ef.
43 Troaist hefyd fin ei gleddyf, ac ni cha-
darn-heaist ef mewn rhyfel.

44 Peraist iw lendid ddarfod, a bwriaist ei
orsedd-faingc i lawr.
j Hos. 7,9 45 [j] Byrheaist ddyddiau ei iuengctid, [a] tho-
aist gywilydd trosto ef. Selah.
k Sal 13,1 46 [k] Pa hyd Arglwydd yr ymguddi? [ai]'n
a 79, 5 dragywydd? a lysc dy ddigofaint ti fel tân.
l Sal 39,5 47 [l] Cofia pa oes sydd [i] mi, pa ham y creaist
Iob 10, 9 10 holl blant dynnion yn ofer?
m Luc 2 48 [m] Pa ŵr a fydd byw, ac ni wel farwolaeth?
26 Heb 11,5 [ac] a wared ei enaid o feddiant uffern? Selah.
n 2 Sam 7 49 [n] Pa le y mae dy hen drugareddau O Ar-
15 glwydd [y rhai] a dyngaist i Ddafydd yn dy
wirionedd?
50 Cofia O Arglwydd wradwydd dy weision,
[yr hwn] a ddygais yn fy mynwes [gan yr] holl
bobloedd fawrion.
o Gen 3 51 [o] A'r hwn y gwarthruddodd dy elynnion
15 1 Cor 1 [dydi] O Arglwydd, y rhai a gablasant ôl troed
18 dy eneiniog.
p Rhuf 7 52 [p] Bendigedic fyddo'r Arglwydd yn dra-
24, 25 Sal 41, 13 gywydd, felly y byddo, ac Amen.

## PSALM XC.

*Gweddi Moses gwr Duw.*

Boreuol TI Arglwydd fuost yn bresswylfa i ni o gen-
weddi. hedlaeth i genhedlaeth.
q Iob 38 2 [q] Cyn gwneuthur y mynyddoedd, a llunnio
29 Gen 1, 2 o honot y ddaiar, a'r byd, ti hefyd oeddit Dduw
o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb.
3 Troi ddyn i ddinistr, trachefn y dywedi, Dy-
chwelwch feibion dynnion.
r 2 Pedr 4 [r] Canys mil o flynyddoedd [ydynt] yn dy
3, 8 Mat 14 olwg di fel doe, wedi'r êl heibio, ac [fel] gwil-
25 iadwriaeth nos.
s Esa 8,7 5 [s] Pan wascarech hwynt megis a llifeiriant y
8 Sal 106 byddant fel hûn: yn forau fel llyssieun y cyf-
13 newidiant.
6 Y boreu y blodeua, ac yr adnewydda, eithr
prydnawn y torrir ef ymmaith, ac y gwywa.
t Heb 2 7 [t] Canys yn dy ddig y difethwyd ni, ac yn dy
15 lidiawgrwydd ein brawychwyd.
u Sal 50 8 [u] Gosodaist ein anwiredd ger dy fron, a'n
21 a 19,13 Ier 16, 17 dirgel bechodau yng-oleuni dy wyneb.
9 Canys ein holl ddyddiau ni a ddarfuant gan
dy ddigofaint di, treuliasom ein blynyddoedd
fel lleferydd.
10 Yn nyddiau ein blynyddoedd y mae deng-
mhlynedd a thrugain, ac os o gryfder y cyr-
heuddir pedwar ugain mhlynedd, yna eu nerth
sydd boen, a blinder: canys ebrwydd y der-
fydd, ac yr ehedwn ni ymmaith.
11 Pwy a edwyn nerth dy sorriant di? canys
v Num fel y mae dy ofn y mae dy ddigter.
27,7 2 Bren 7 12 [v] Dysc i ni felly i gyfrif ein dyddiau, fel y
9 w Gen 6 dygom ein calon i ddoethineb.
6 Deut 32 13 [w] Dychwel Arglwydd, pa hyd y sorri? cym-
36 mer drugaredd ar dy weision.

14 [x] Diwalla ni yn foreu a'th drugaredd, fel y x Sal 5,3
gorfoleddom, ac y llawenychom dros ein holl a 30,6
ddyddiau.
15 Llawenhâ ni yn ol y dyddiau y cystudd-
iaist ni, a'r blynyddoedd y gwelsom ddrygfyd.
16 [y] Gweler dy waith tu ag at dy weision a'th y Heb 3
odidawgrwydd tu ag at eu plant hwy. 9 Sal 85,6
17 [z] A bydded prydferthwch yr Arglwydd ein a 140,9 Num 14
Duw arnom ni, a threfna weithred ein dwylo 31
ynom ni, ïe trefna waith ein dwylo. z Zec 11 7, 10

## PSALM XCI.

Sal 27,4 Esa 26

YR [a] hwn sydd yn trigo yn nirgelwch y Go- 18
ruchaf a erys yng-hysgod yr Hollalluoc. a Sal 31 20
2 Dywedaf wrth yr Arglwydd, Fyng-obaith a'm a 32,7 a 17,8
hamddeffynfa [ydwyt,] yn fy Nuw y gobeithiaf.
3 [b] Canys efe a'th wareda di o fagl yr heliwr: b 1 Pedr 5,8
[ac] oddiwrth haint echrysslon.
4 [c] Ai ascell y cyscoda efe trosod, a than ei c Mat 23
adenydd y byddi diogel: ei wirionedd [fydd] 39 Ester 6
darian, ac astalch [i ti.] 16
5 [d] Nid ofni rhag dychryn nos, [na] rhag y d Sal 112
saeth a eheto'r dydd. 7 Diar 3
6 [Na] rhag yr haint yr hwn a rodio yn y 25
tywyllwch, [na] rhag y dinystr a ddinistrio
hanner dydd.
7 Wrth dy ystlys y cwymp mil, a dengmil
wrth dy ddeheu-law: ond ni ddaw yn agos
attat ti.
8 [e] Etto canfyddi a'th lygaid, a gweli dâl y e Mal 1,5
rhai annuwiol. Esa 3, 10
9 Canys ti O Arglwydd [wyt] fyng-obaith,
uchel y gosodaist dy bresswyfa.
10 [f] Ni ddigwydd i ti niwed, ac ni ddaw pla yn f Diar 12
agos i'th babell. 21
11 [g] Canys efe a orchymyn iw angelion am g Mat 4
danat ti, dy gadw yn dy holl ffyrdd. 6 Heb 1,
12 Ar eu dwylo i'th ddygant, rhag taro dy 14 2 Cron 16
droed wrth garrec. 9
13 [h] Ar y llew, a'r asp y cerddi: ar genew h Dan 6 22
llew, a'r ddraig y sethri. Marc 16 17
14 [i] Gwaredaf ef hefyd am roddi o honaw i Deut 7
serch arnaf: derchafaf ef am adnabod o honaw Esa 53
fy enw. Sal 9, 10
15 [j] Efe a eilw arnaf, a mi ai gwrandawaf: j Esa 41
mewn ing y byddaf fi gyd ag ef, gwaredaf ef, ac 1 Sam 2 30
y gogoneddaf ef.
16 Digonaf ef â hir ddyddiau: a dangosaf
iddo fy iechydwriaeth.

## PSALM XCII.

*Psalm neu Gân ar y dydd Sabboth.*

DA [k] yw moliannu'r Arglwydd: a chanu k Sal 147
i'th enw di y Goruchaf. 1
2 [l] A Mynegu y boreu am dy drugaredd a'th l Sal 46
wirionedd y nosweithiau. a 134, 1
3 [m] Ar ddec-tant, ac ar nabl, [ac] ar delyn yn m Rhuf 11, 33
fyfyrriol.

4 Canys llawenychaist fi O Arglwydd a'th
weithred: yng-waith dy ddwylo y gorfoleddaf.
m Rhuf. 5 m Mor fawredic O Arglwydd yw dy weith-
11, 33 redoedd, dwfn iawn yw dy feddyliau.
6 Gŵr annoeth ni wyr, a'r ynfyd ni ddeall hyn.
7 Pan flodeuo y rhai annuwiol fel llysieun,
y blagura holl weithredwyr anwiredd iw din-
istrio byth bythoedd.
n Sal. 56,8 8 n Tithe Arglwydd wyt dderchafedic yn
Ex. 18,11 dragywydd.
o Dan. 2, 9 o Canys wele dy elynnion O Arglwydd,
35 Sal. 68, 1 wele dy elynnion a ddifethir: gwascerir holl
weithred-wyr anwiredd.
p Sal. 75, 10 p A'm corn a dderchefi fel unicorn, ag olew
10 a 23, 5 Ir i'm taenellir.
q Sal. 91, 11 q Fy llygaid hefyd a wel [fyng-wynfyd] ar
8 fyng-wrthwyneb-wyr: fyng-hlustiau a glywant
[fy ewyllys] am y rhai drygionus a gyfodant
i'm herbyn.
r Can. 7, 12 r Y cyfiawn a flodeua fel palm-wŷdden,
8 Sal. 52, 9 [ac] a gynnydda fel cedr-wŷdden yn Libanus.
Hos. 14, 13 s Y rhai a blannwyd yn nhŷ'r Arglwydd a
13 s Rhuf. 6, flodeuant yng-hynteddoedd ein Duw.
5 a 11, 17 Sal. 1, 3 14 t Ffrwythant etto yn [eu] henaint, tyrfion,
t Eph. 4, 15 ac iraidd fyddant.
15 I fynegu mai iniawn yw'r Arglwydd fyng-
Pryd-nawnol weddi. braig: ac nad [oes] anwiredd ynddo.

## PSALM XCIII.

u Dat. 11, 15 YR u Arglwydd sydd yn teyrnasu [ac] a wis-
1 Esa. 8, 9 codd ardderchawgrwydd, gwiscodd yr Ar-
glwydd [ac] ymwregysodd â nerth: y byd hefyd
a sicrhaodd efe fel na syflo.
v Diar. 8 2 v Darparwyd dy orseddfaingc er ioed: ti
22 [ydwyt] er tragywyddoldeb.
w Dat. 17, 3 w Y llifeiriant O Arglwydd a dderchafasant,
15 y llifeiriant a dderchafasant eu twrwf: y llifeir-
iant a dderchafasant eu tonnau.
x Eph. 1, 4 x Cadarn [yw] tonnau'r môr gan dwrwf
20 Ex. 15, 10 dyfroedd lawer, cadarnach yw'r Arglwydd yn
yr uchelder.
y Dat. 21, 5 y Siccr iawn yw dy destiolaethau, sanct-
27 Zec. 14, eiddrwydd a wedde i'th dŷ O Arglwydd byth.
20

## PSALM. XCIV.

z Deut. 32, 35 O z ARGLWYDD Dduw'r dial, O Dduw'r
dial ymddiscleiria.
2 Ymddercha farn-wr y byd: tâl [eu] gwobr
i'r beilchion.
3 Pa hyd Arglwydd [y llawenycha] yr an-
nuwolion? pa hyd y gorfoledda y rhai dryg-
ionus?
a Iudas 4 a Yr ymfawryga holl weithred-wyr anwir-
15 edd? y siaradant, ac y dywedant yn galed?
5 Dy bobl Arglwydd a faeddant: a'th etif-
eddiaeth a gystuddiant.
b Esa. 1, 6 b Y weddw a'r ddieithr a laddant, a'r ym-
23 ddifad a liasant.

7 c Dywedasant hefyd, Ni wel yr Arglwydd: c Sal. 14, 1
ac ni ddeall Duw Iacob [hyn.] a 10, 13
8 d Ystyriwch chwi rhai annoeth ym mysc y d Sal. 92,
bobl: ac ynfydion, pa bryd y deallwch? 6
9 e Oni chlyw'r hwn a blannodd y glust? oni e Ex. 4, 11
wel yr hwn a luniodd y llygaid? Diar. 20, 12
10 Oni cherydda'r hwn a gospa y cenhedl-
oedd? [oni] ŵyr yr hwn sydd yn dyscu gwy-
odaeth i ddyn.
11 f Gŵyr yr Arglwydd feddyliau dyn, mai f 1 Cor. 3,
gwagedd ydynt. 20
12 g Gwyn ei fyd y gŵr yr hwn a gospi di O g Heb. 12
Arglwydd, ac a ddysci yn dy gyfraith, 10 Iob 33, 16
13 h I beri iddo lonydd oddi wrth ddyddiau h Eph. 5,
dryg-fyd, hyd oni chloddier ffos i'r annuwiol. 16 Preg. 12,
14 i Canys ni âd yr Arglwydd ei bobl, ac ni 1 i Heb. 13,
wrthid efe ei etifeddiaeth. 5
15 j Eithr barn a ddychwel at gyfiawnder, a'r Zec. 13, 9 j Ier. 52, 9
holl rai iniawn o galon [a ant] ar ei ol ef. Rhuf. 2, 6 7, 9
16 Pwy a gyfyd gyd â mi yn erbyn y rhai
drygionus? pwy a saif gyd â mi yn erbyn
gweithred-wyr anwiredd?
17 k Oni [buase]'r Arglwydd yn gymmorth i k Sal. 124
mi, braidd na thrigase fy enaid [mewn] distaw- 1 2 Tim. 4,
rwydd. 17
18 l Pan ddywedwn, Llithrodd fy nhroed, dy l Sal. 38,
drugaredd di O Arglwydd a'm cynhalie. 16
19 m Yn amlder fy meddyliau o'm mewn, dy m 2 Cor. 1
ddiddanwch di a lawenyche fy enaid. 4
20 n A fydd cydymdeithas i ti â gorseddfaingc n Rhuf. 16
yr anwir: yr hwn a lunia anwiredd yn lle 10 2 Cor. 6,
cyfraith? 14 Esa. 10, 1
21 Yn finteiodd y deuant yn erbyn enaid y
cyfiawn: a gwaed gwirion a farnant yn euog.
22 Eithr yr Arglwydd sydd yn amddeffynfa i
mi, a'm Duw [yw] craig fy ymddyried.
23 o Ac efe a dal iddynt eu hanwiredd, ac ai o Diar. 5,
tyrr ymmaith yn eu drygioni: yr Arglwydd ein 22 Sal. 55, 23
Duw ai tyrr hwynt ymmaith.

## PSALM. XCV.

Boreuol weddi.
DEUWCH, p canwn i'r Arglwydd, ymlaw- p Col. 3, 16
enhawn yn nerth ein hiechyd. 1 Cor. 10, 4
2 q Deuwn ger ei fron ef â diolch: canwn yn q Zec. 8,
llafar iddo psalmau. 21
3 r Canys yr Arglwydd [sydd] Dduw mawr, r Tit. 2, 13
a brenin mawr ar yr holl dduwiau. 1 Tim. 6, 15
4 Yr hwn [y mae] gorddyfnder y ddaiar yn ei
law: ac uchelder y mynyddoedd yn eiddo ef.
5 s Yr hwn [y mae]'r môr yn ei eiddo, canys s Gen. 1, 9
efe ai gwnaeth: ai ddwylo a luniasant y sychdir. 10
6 t Deuwch, addolwn, ac ymgrymmwn, gost- t Ioan 1, 3
yngwn ger bron yr Arglwydd ein gweithydd. u Sal. 77, 20
7 u Canys efe yw ein Duw ni, a ninne yn bobl Heb. 3,
ei borfa, ac yn ddefaid ei ddwylaw, heddyw os 25 v Deut.
gwrandewch ar ei leferydd. 15, 17 Ex. 17, 7
8 v Na chaledwch eich calonnau, megis yn Num. 14, 22

yr ymrysonfa, fel yn nydd profedigaeth yn yr
anialwch.
w 1 Cor. 10, 9 — 9 w Lle y temptiodd eich tadau fi, y profasant
Sal.78,51 fi, ac y gwelsant fyng-weithredoedd.
10 Deugain mhlynedd yr ymrysonais a'r
genhedlaeth [hon,] a dywedais, Pobl gyfeiliornus
yn [eu] calon [ydynt] hwy: canys nid adnabuant
hwy fy ffyrdd.
x Heb. 8, 11 — 11 x [Am] y rhai y tyngais yn fy llid na ddelent
a4,8,9,11 i'm gorphwysfa.

## PSALM. XCVI.

CENWCH i'r Arglwydd ganiad newydd:
cenwch i'r Arglwydd yr holl ddaiar.
y Sal.115, 1 — 2 y Cenwch i'r Arglwydd, [a] bendigwch ei
Dat 19,2 enw ef: cyhoeddwch o ddydd i ddydd ei iech-
Sal. 3, 8 ydwriaeth ef.
z Dat. 14, 6 — 3 z Dadcenwch ym mysc y cenhedloedd ei
ogoniant ef, [ac] ym mhlith yr holl bobloedd ei
ryfeddodau.
a Dat. 4, 11 — 4 a Canys mawr [yw'r] Arglwydd, a chanmol-
Sal. 95,3 adwy iawn, ofnadwy [yw] efe goruwch yr holl
dduwiau.
5 Canys holl dduwiau'r bobloedd [ydynt]
eulynnod, yr Arglwydd a wnaeth y nefoedd.
6 Gogoniant, a harddwch [ydynt] oi flaen ef,
nerth a hyfrydwch [sydd] yn ei gyssegr.
b Dat.14, 6 — 7 b Tylwythau y bobl rhoddwch i'r Arglwydd:
rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant a nerth.
c Rhuf.12, 1 — 8 c Rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant ei enw,
dygwch fwyd offrwm, a deuwch i'w gynteddoedd.
9 Addolwch ger bron yr Arglwydd mewn
prydferth sancteiddrwydd: yr holl ddaiar
ofnwch rhagddo ef.
d Rhuf.15, 9 — 10 d Dywedwch ym mysc y cenhedloedd, Yr
Sal. 93, 1 Arglwydd sydd yn teyrnasu: a'r byd a siccrha-
Esa. 11,4 odd efe fel nad yscogo: efe a farna y bobl yn
iniawn.
e Dat.12, 12 — 11 e Llawenhaed y nefoedd a gorfoledded y
ddaiar: rhued y môr ac sydd ynddo.
12 Gorfoledded y maes, a'r hyn oll [sydd]
ynddo: a holl brennau'r coed a ganant o flaen
yr Arglwydd:
f Act 1,11 — 13 f Am ei ddyfod, am ei ddyfod i farnu'r
Luc 19,12 ddaiar: efe a farna'r byd drwy gyfiawnder, a'r
bobloedd yn ei wirionedd.

## PSALM XCVII

g Sal. 93, 1 — YR g Arglwydd sydd yn teyrnasu, gorfol-
Esa. 60,9 edded y ddaiar, [a] llawenyched ynys-
oedd lawer.
h 2 Cor. 10, 16 — 2 h Niwl a thywyllwch [ydynt] oi amgylch ef:
cyfiawnder, a barn [yw] sail ei orseddfaingc ef.
i 2 Thes. 1, 8 — 3 i Tân aiff allan oi flaen ef, ac a lysc ei elyn-
ion ef o amgylch.
j Ex.19,16 — 4 j Ei fellt a lewyrchasant y byd, y ddaiar a
Sal.77,18 welodd, ac a ofnodd.

5 k Y mynyddoedd a doddasant fel cwyr o — k Nah. 1, 5
flaen yr Arglwydd: [sef] o flaen Arglwydd yr — Dat.7,14
holl ddaiar.
6 l Y nefoedd a fynegasant ei gyfiawnder ef: — l Dat. 8, 20
a'r holl bobl a welsant ei ogoniant.
7 m Gwaradwydder y rhai oll a wasanaethant — m Dat.14, 9
ddelw gerfiedic, y rhai a orfoleddant mewn eu-
lynnod: addolwch ef yr holl dduwiau.
8 Sïon a glywodd, ac a lawenychodd: a
merched Iuda a orfoleddasant o herwydd dy
farnedigaethau di O Arglwydd.
9 n Canys ti wyt Arglwydd goruchaf ar yr — n Phil. 2, 9
holl ddaiar: dirfawr y derchafwyt ti goruwch
yr holl dduwiau.
10 o Casewch ddrygioni y rhai a gerwch yr — o Rhuf.12, 9
Arglwydd: yr hwn sydd yn cadw eneidiau ei
sainct, [ac] ai gwared o law y rhai annuwiol.
11 p Hauwyd goleuni i'r cyfiawn, a llawen- — p 1 Ioan 1, 2
ydd i'r rhai iniawn o galon. — Ester 8, 16
12 q Y rhai cyfiawn llawenychwch yn yr Ar- — q Sal. 33,
glwydd: a moliennwch goffadwriaeth ei sanct- — 1 a 31,1
eiddrwydd ef. — a 32,11

## PSALM XCVIII.

*Psalm.* — Prydnawnol weddi.

CENWCH r i'r Arglwydd ganiad newydd, — r Dat. 15, 3
canys efe a wnaeth [bethau] rhyfedd: ai
ddeheulaw, ac ai fraich sanctaidd y parodd — Esa.59,16
iddo ei hun iechydwriaeth. — a 63, 5
2 Yspyssodd yr Arglwydd ei iechydwriaeth
[a] dat-cuddiodd ei gyfiawnder yng-olwg y
cenhedloedd.
3 s Cofiodd ei drugaredd, ai wirionedd i dŷ — s Luc 1, 54–74
Israel: holl derfynau y ddaiar a welsant iech- — Esa. 52, 10
ydwriaeth ein Duw ni.
4 Cenwch yn llafar i'r Arglwydd bob daiar:
llefwch, ac ymlawenhewch, a chenwch.
5 Cenwch i'r Arglwydd gyd a'r delyn: [sef]
gyd a'r delyn â llef canmoliaeth.
6 t Cenwch yn llafar o flaen yr Arglwydd y — t Num.10, 2
Brenin ar yr udcyrn, a sain trwmpet. — Sal. 71,1
7 u Rhued y môr ac sydd ynddo, y byd a'r — Dat 19,6 u Dat. 6, 16
rhai a drigant oi fewn.
8 Cured y llifeiriaint eu dwylo: a chydganed
y mynyddoedd,
9 v O flaen yr Arglwydd, canys efe a ddaeth i — v 2 Tim.4, 8
farnu y ddaiar: efe a farna'r byd mewn cyfiawn- — Iago 4,11
der, ar bobloedd mewn iniondeb. — 1 Tim 4.1 Dat. 6,10

## PSALM XCIX.

YR Arglwydd sydd yn teyrnasu [er maint]
a ymderfysco y bobloedd: eistedd y mae
[rhwng] y Cerubiaid [er maint] a ymsiglo y
ddaiar.
2 w Mawr [yw'r] Arglwydd yn Sïon, a derch- — w Dat.14, 1
efedic yw efe goruwch yr holl bobloedd. — Ex 15,11
3 x Moliannant dy enw mawr ac ofnadwy, — x Dat.15, 3, 4
[canys] sanctaidd yw.

4 A nerth y brenin a hoffa farn, ti a ddarperaist iniondeb, barn, a chyfiawnder a wnaethost ti yn Iacob.

y Esa. 60, 3 a 5, 16 5 ʸ Derchefwch yr Arglwydd ein Duw, ac ymgrymmwch o flaen ei stol draed ef, [canys] sanctaidd [yw] efe.

z Ex. 28, 21 Ier. 15, 1 6 ᶻ Moses ac Aaron [oeddynt] ym mhlith ei offeiriaid ef: a Samuel ym mysc y rhai a alwent ar ei enw, galwasant ar yr Arglwydd, ac efe ai gwrandawodd hwynt.

a Heb. 4, 4 7 ᵃ Llefarodd wrthynt mewn colofn o niwl, cadwasant ei destiolaethau, a'r ddeddf [a] roddodd efe iddynt.

b Num. 14 a 20, 12 Sal. 32, 2 8 ᵇ Gwrandewaist arnynt O Arglwydd ein Duw: Duw oeddit yn eu harbed, pan ddielit am eu gweithredoedd.

9 Derchefwch yr Arglwydd ein Duw, ac ymgrymmwch ar ei fynydd sanctaidd, canys sanctaidd [yw]'r Arglwydd ein Duw.

## PSALM C.

*Psalm o foliant.*

Rhuf. 15 CENWCH ᶜ yn llafar i'r Arglwydd yr holl ddaiar.

2 Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn llawenydd: deuwch oi flaen ef â chan.

Eph. 2, 10, 3 ᵈ Gwybyddwch mai'r Arglwydd sydd Dduw: efe a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain: ei bobl ef [ydym,] a defaid ei borfa.

4 Ewch iw byrth ef â diolch, ac iw gynteddau â mawl: clodforwch ef, [a] bendithiwch ei enw.

Zec. 13, 5 ᵉ Canys da [yw]'r Arglwydd, ai drugaredd [sydd] yn dragywydd, ai wirionedd hyd genhedlaeth a chenhedlaeth.

## PSALM CI.

*Psalm Dafydd.*

DADCANAF ᶠ drugaredd a barn: i ti Arglwydd y canaf.

2 ᵍ Byddaf ddeallus mewn ffordd berffaith hyd oni ddelech attaf: rhodiaf mewn peffreithrwydd fyng-halon o fewn fy nhŷ.

3 Ni osodaf ddim anwir o flaen fy llygaid, câs gennif waith y rhai cildynnus. [ac] ni lyn wrthif.

4 ʰ Calon gyndyn a gilia oddi wrthif, nid adnabyddaf [ddyn] drygionus.

5 ⁱ Torraf ymmaith yr hwn a enllibio ei gyfaill yn ddirgel, y balch o olwg a'r uchel galon ni allaf [ei ddioddef.]

6 ʲ Fy llygaid [fyddant] ar ffyddlonniaid y tir fel y trigant gyd â mi: 'r hwn a rodio mewn ffordd berffaith hwnnw a'm gwasanaetha fi.

7 ᵏ Ni thrig o fewn fy nhŷ yr un a wnelo dwyll, ni chadarnheuir yn fyng-olwg yr un a ddywedo gelwydd.

8 ˡ Yn foreu y torraf ymmaith holl annuwiolion y tir: gan ddiwreiddio holl weithred-wyr anwiredd o ddinas yr Arglwydd.

## PSALM CII.

*Gweddi y cystuddiedic, pan fyddo efe mewn blinder: ac yn tywallt ei ymadrodd ger bron yr Arglwydd.* Boreuol weddi.

ARGLWYDD clyw fyng-weddi, a deled fy llef attat.

2 ᵐ Na chudd dy wyneb oddi wrthif, yn nydd fyng-hyfyngder gostwng dy glust attaf: yn y dydd y galwyf, bryssia, [a] gwrando fi. m Ier. 16, 13

3 ⁿ Canys fy nyddiau a ddarfuant fel mŵg: a'm hescyrn a boethasant fel pentewyn. n Sal. 119 83 Sal. 32, 3

4 ᵒ Fyng-halon a darawyd: ac a wywodd fel llyssieun: fel yr anghofiais fwytta fy mara. o Amos 4, 4

5 ᵖ Gan lais fy nhuchan y glynodd fy escyrn wrth fyng-nhawd. p Diar. 17 22

6 ᑫ Tebyg wyf i belican [mewn] anialwch, ydwyf fel dylluan [mewn] diffeithwch. q Zec. 2, 14 Iob 30, 29

7 ʳ Gwiliais, ac ydwyf fel aderyn y to unic ar benn y tŷ. r Sal. 77, 4 a 38, 11

8 ˢ Fyng-elynnion a'm gwarthruddasant beunydd: y rhai a ynfydant wrthif a dyngasant yn fy erbyn, s Act. 26, 11 a 23, 14

9 Canys bwytteais lludw fel bara: a chymmyscais fy niod ag wylofain.

10 ᵗ [A hynny] gan dy lid a'th ddigofaint: canys codaist fi, a theflaist fi i lawr. t Sal. 30, 7

11 ᵘ Fy nyddiau [a aethant] fel cyscod wedi cilio, a minne fel glaswelltyn a wywais. u Sal. 109 23 Esa. 40, 6

12 ᵛ Tithe Arglwydd a barhei yn dragywyddol: a'th goffadwriaeth hyd genhedlaeth a chenhedlaeth. v Sal. 90, 2 a 135, 5

13 ʷ Ti a gyfodi, [ac] a drugarhei wrth Sïon: canys madws [yw] trugarhau wrthi, o herwydd dyfod yr amser nodedic. w Zec. 2, 11 Obad. 17 Dat. 11, 8

14 O blegit y mae dy weision yn hoffi ei meini hi: ac yn tosturio wrth ei llwch hi.

15 ˣ A'r cenhedloedd a ofnant enw'r Arglwydd: a holl frenhinoedd y ddaiar dy ogoniant, x Esa. 60, 1 Dat. 21, 24

16 ʸ Pan adailado yr Arglwydd Sïon, a phan weler efe yn ei ogoniant. y Esa. 60, 17

17 Edrychodd ar weddi y gwael: ac ni ddiystyrodd eu dymuniad.

18 ᶻ Hyn a scrifennir i'r genhedlaeth nessaf, a'r bobl a enir a foliannant yr Arglwydd. z Esa. 65, 18

19 ᵃ Canys edrychodd o uchelder ei gyssegr: yr Arglwydd a edrychodd i lawr o'r nefoedd, a Deut. 26, 15

20 ᵇ I wrando uchenaid y carcharorion: ac i ryddhau plant angeu. b Ier. 51, 34

21 Fel y mynegant enw'r Arglwydd yn Sïon, ai foliant ef yn Ierusalem,

22 Pan gesclid y bobl yng-hyd, a'r teyrnasoedd i wasanaethu'r Arglwydd.

23 ᶜ Gostyngodd efe fy nerth ar y ffordd, [a] byrhaodd fy nyddiau. c Iob 17, 12

24 Dywedais, Fy Nuw na chymmer fi ymmaith yng-hanol fy nyddiau: dy flynyddoedd di

[ydynt] yn oes oesoedd,
dHeb. 1, 10 25 [d] Yn y dechreuad y seiliaist y ddaiar, a'r
nefoedd [ydynt] waith dy ddwylo,
e2 Pedr. 3, 7, 10 Heb. 13, 18 Esa. 34, 4 26 [e] Hwynt a ddarfyddant a thi a barhei, ïe
hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn: fel gwisc
y newidi hwynt, ac y newidiant.
fMal. 3, 6 Iago 1, 17 27 [f] Tithe'r un [ydwyt,] a'th flynyddoedd ni
ddarfyddant.
gHab. 1, 12 Mat. 22, 23 Sal. 72, 17 28 [g] Plant dy weision a bresswyliant, ai had
a gadarnheuir ger dy fron di.

## PSALM CIII.

*Psalm Dafydd.*

FY enaid bendithia'r Arglwydd, a chwbl
sydd ynof, ei enw sanctaidd.
hSal. 116, 12 2 [h] Fy enaid bendithia'r Arglwydd, ac nac
anghofia ei holl ddonniau ef.
iSal. 32, 1 2 Ex. 15, 26 Esa 33, 24 3 [i] Yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwir-
eddau: a'r hwn sydd yn iachau dy holl lescedd.
jIob 33, 19 23, 24 4 [j] Yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o
ddestruw, yr hwn sydd yn dy goroni â thru-
garedd, ac â thosturi.
kRhuf 12 2 Esa 49, 31 5 [k] Yr hwn sydd yn diwallu dy enau â dai-
oni: [fel] yr adnewydder dy ieuengctid fel
yr eryr.
6 Yr Arglwydd sydd yn gwneuthur cyfiawn-
der, a barn i'r rhai gorthymmedic oll.
lSal 147, 19 7 [l] Yspyssodd ei ffyrdd i Moses, ai weithred-
oedd i feibion Israel.
8 Trugarog, a gras-lawn [yw'r] Arglwydd:
hwyrfrydic i lid, a mawr o drugarogrwydd.
mEsa 59, 16 Ier 3, 5 9 [m] Nid byth yr ymryssou efe, ac nid byth y
ceidw efe [ei ddigofaint.]
10 Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe i ni,
ac nid yn ol ein anwireddau y talodd efe i ni.
nDiar 25 3 11 [n] Canys cyfuwch ac yw'r nefoedd uwch
law'r ddaiar y rhagorodd ei drugaredd ef ar y
rhai ai hofnant ef.
oMica 7, 18 Esa 43, 25 12 [o] Cyn belled ac yw'r dwyrain oddi wrth y
gorllewyn y pellhaodd efe ein camweddau
oddi wrthym.
pMal 3, 17 Eph 3, 15 13 [p] Fel y tosturia tad wrth ei blant, y tost-
uriodd yr Arglwydd wrth y rhai ai hofnant ef.
14 Canys efe a adwaene ein defnydd ni: cof-
iodd mai llwch [oeddem] ni.
q1 Pedr. 1, 24 15 [q] Dyddiau dyn [ydynt] fel glas-welltun:
megis blodeun y maes y blodeua efe.
rSal 37, 36 16 [r] Pan el gwynt trosto, yna ni [bydd] mwy o
honaw: ai le nid edwyn ddim o honaw
ef mwy.
sEph 1, 3 4 2Cor 9, 9 17 [s] Ond trugaredd yr Arglwydd [fydd] o
dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb ar y
rhai ai hofnant ef:
t1Tim 4, 8 18 [t] Ai gyfiawnder i blant plant y rhai a gad-
want ei gyfammod ef: ac a gofiant ei orchym-
ynion iw gwneuthur.
uDat 4, 1 2 19 [u] Yr Arglwydd a baratodd ei orseddfa yn
y nefoedd: ai frenhiniaeth ef sydd yn llyw-
odraethu ar bob [peth.]
20 [v] Bendithiwch yr Arglwydd ei angelion ef, vCol. 1, 16 Mat 6, 10
cedyrn o nerth yn gwneuthur ei air ef gan
wrando ar leferydd ei air ef.
21 [w] Bendithiwch yr Arglwydd ei holl luoedd wGen. 1 a 32, 2
ef: [sef] ei holl weision yn gwneuthur ei ewyllys. Heb 1, 14
22 [x] Bendithiwch yr Arglwydd ei holl weith- xSal 145, 6
redoedd ef, ym mhob mann oi lywodraeth. Fy Ioan 14, 14
enaid bendithia'r Arglwydd.

## PSALM CIV.

Pryd-nawnol weddi.

FY [y] enaid bendithia'r Arglwydd, O Ar- ySal 93, 1
glwydd fy Nuw tra mawr ydwyt: gwisc- Dat. 4, 3 4 a 19, 12
aist ogoniant, a harddwch.
2 [a] Yr hwn sydd yn gwisco goleuni fel dill- a1Tim 1, 16
edyn: [ac] yn tanu y nefoedd fel llen. 2Cor 4, 6
3 [b] Yr hwn sydd yn tylathu yn y dyfroedd, Can. 1, 2 bSal 18, 2
yn gosod y cwmylau yn gerbyd iddo: ac yn a 18, 10
rhodio ar adenydd y gwynt.
4 [c] Yr hwn sydd yn gwneuthur yspryd ion cHeb. 1, 14
yn gennhadon iddo: ai weinidogion yn dân 2Bren 6, 17
fflamllyd,
5 [d] Efe a seiliodd y ddaiar ar ei sylfeini: fel dIob 38, Sal. 102, 26
na siglo byth, nac yn dragywydd.
6 Toaist hi â gorddyfnder megis â gwisc: y
dyfroedd a safant ar y mynyddoedd.
7 [e] Gan dy gerydd di y ffoant, rhag swn dy eIob 38, 11
daran y rhedant yn frawychus.
8 [Fel] mynyddoedd yr ymgodant, fel glyn-
noedd y descynnant i'r lle yr hwn a seiliaist
iddynt.
9 [f] Gosodaist derfyn fel nad elont trosodd, fIob 38
fel na ddychwelont i orchguddio'r ddaiar.
10 Yr hwn a yrraist ffynhonnau i'r afonydd
[y rhai] a gerddant rhwng y mynyddoedd.
11 [g] Diodant holl fwyst-filod y maes: yr as- gMat. 6, 26
synnod gwylltion a dorrant eu syched [ynddynt.] Iob 39, 5
12 Adar y nefoedd a drigant ger llaw iddynt,
ac a leisiant oddi rhwng y cangau.
13 [h] Y mae efe yn dwfrhau y mynyddoedd oi h Ier. 10, 13 a 14
uchelder: a'r ddaiar a gyflawnir o ffrwyth dy
weithredoedd.
14 [i] Y mae yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, i1Bren 5
a llyssiau i wasanaethu dŷn: gan ddwyn bara Gen. 1 Iob Esa.
allan o'r ddaiar, 30
15 [j] A gwin hefyd y llawenycha efe galon dŷn jDiar 6
gan beri i wynebau ddiscleirio ag olew: ac â Bara 13
bara y cynnal efe galon dŷn. kSal
16 [k] Prennau'r Arglwydd ydynt lawn [o sugn:]
[sef] cedr-wŷdd Libanus y rhai a blannodd efe.
17 Lle y nytha'r adar: y ffynnidwydd [yw] tŷ
y Ciconia.
18 [l] Y mynyddoedd uchel [sydd] i'r geifr, [a'r] lDiar 26
creigiau yn lloches i gwnningod.
19 [m] Efe a wnaeth y lleuad i amserau nodedic: mGen. 1, 14 Iob 38, 32 a 38, 1
yr haul a edwyn ei fachludiad.

nEsa.45, 20 [n]Gosodi dywyllwch a nôs fydd: ynddi'r
7 ymlusca pob bwyst-fil coed.
oEsa.31, 21 [o]Y llewod a rûant am sclyfaeth, ac [a ânt]
4 Iob38,39 i geisio eu bwyd gan Dduw.
pPreg.1, 22 [p][Pan] godo haul yr ymgasclant, ac y gor-
5 weddant yn eu llochesau.
23 Dŷn [a] aiff allan iw waith, ac iw orchwyl
hyd yr hwyr.
qSal.8,1 24 [q]Mor lluosog [yw] dy weithredoedd O
Gen.1,31 Sal.24,1 Arglwydd: gwnaethost hwynt oll mewn doeth-
ineb, llawn yw'r ddaiar o'th gyfoeth.
25 [Felly] mawr, a llydan [yw]'r môr: yno y
mae ymlusciaid heb rifedi, [a] bwyst-filod mawr-
ion a bychain.
rSal.74, 26 [r]Yno'r aiff llongau: [a'r] Lefiathan [yr
14 hwn] a lunniaist i chware ynddo.
sSal.145, 27 [s]Hwynt oll a ddisgwiliant wrthit am roddi
15 eu bwyd yn ei bryd.
Deut.15 28 [t]Casclant [pan] roddech iddynt: [pan]
11 agorech dy law diwellir hwynt á daioni.
uSal.146, 29 [u][Pan] guddiech dy wyneb y dychrynnant,
4 [pan] gasclech dy yspryd y trengant, ac y dych-
welant iw llwch.
Sal.33,6 30 [v][Pan] ollyngech dy yspryd y creuir hwynt,
Preg.1,4 ac yr adnewyddi di wyneb y ddaiar.
31 Gogoniant yr Arglwydd fydd yn dragy-
wydd: yr Arglwydd a lawenycha yn ei weith-
redoedd.
wEx.19, 32 [w]Yr hwn a edrych ar y ddaiar, a hi a gryna,
Sal.144,5 [ac] a gyffwrdd a'r mynyddoedd, a hwynt a
fygant.
x1Pedr 33 [x]Canaf i'r Arglwydd yn fy mywyd, canaf
i'm Duw tra fyddwyf.
34 Bydd melys ganddo fy myfyrdod: mi a
lawenychaf yn yr Arglwydd.
Dat.18, 35 [y]Derfydd y pechaduriaid o'r tir, ni bydd
yr annuwolion mwy: fy enaid bendithia di'r
Arglwydd. Molwch yr Arglwydd.

## PSALM CV.

orenol eddi. 1Cron CLODFORWCH [z]yr Arglwydd, gelwch
7,8,22 ar ei enw: mynegwch ei weithredoedd ym
mysc y bobloedd.
Sal.145, 6,11 2 [a]Cenwch iddo, can-molwch ef: treuthwch
am ei holl ryfeddodau ef.
1Cor.1, 3 [b]Gorfoleddwch yn ei enw sanctaidd, llawen-
yched calon y rhai a geisiant yr Arglwydd.
4 Ceisiwch yr Arglwydd ai nerth: ceisiwch
ei wyneb bob amser.
Sal.77, 5 [c]Cofiwch ei ryfeddodau y rhai a wnaeth efe:
ei wrthiau, a barnedigaethau ei enau.
1Cron. 6 [d]O hâd Abraham ei wâs ef: O meibion Ia-
13 Pedr 1, cob ei etholedigion.
Esa.26, 7 [e]Efe yw'r Arglwydd ein Duw ni, ei farned-
igaethau ef [ydynt] trwy'r holl ddaiar.
Sal.135, 8 [f]Cofiodd ei gyfammod bob amser: [a'r] gair
a orchymynnodd efe i fil o genhedlaethau.

9 [g]Yr hyn a ammododd efe ag Abraham, ai gLuc 1,
lŵ i Isaac. 73
10 A'r [hyn] a osododd efe yn ddeddf i Iacob,
[ac] yn gyfammod tragywyddol i Israel,
11 [h]Gan ddywedyd, I ti y rhoddaf dîr Ca- hGen.12,
naan rhandir eich etifeddiaeth. 6
12 [i]Pan oeddynt anaml [ac] ychydig, a dieithr- iHeb.11,
iaid ynddi, 9
13 Pan rodiasant o genhedlaeth i genhedlaeth:
o'r [naill] deyrnas at bobl arall:
14 Ni adawodd i neb eu gorthrymmu, onid
ceryddodd frenhinoedd oi plegit [gan ddywedyd:]
15 [j]Na chyffyrddwch a'm rhai eneiniog, ac na j1Ioan 2,
ddrygwch fy mhrophwydi. 27 Gen.20,7
16 [k]Galwodd hefyd am newyn ar y tir: a din- kMat8,9
istriodd holl gynhaliaeth bara. Lef. 26, 26
17 [l]Anfonodd ŵr oi blaen hwynt, Ioseph a lGen.45,
werthwyd yn wâs. 5 a 37,28
18 [m]Cystuddiasant ei draed ef mewn gefyn: mGen39
daeth yr haiarn hyd ei enaid. 20
19 [n]hyd yr amser y daeth ei air ef [i ben,] gair nGen 36,
yr Arglwydd ai profodd ef. 5 1Pedr 1, 7
20 [o]Y brenin a anfonodd, ac ai gollyngodd ef, oGen.41,
a llywodraeth-wr y bobl ai rhyddhâodd ef. 14
21 [p]Gosododd ef yn Arglwydd ar ei dŷ, ac yn pGen.41,
llywydd ar ei holl gyfoeth. 40
22 I athrawiaethu ei dywysogion ef wrth ei
ewyllys, ac i ddyscu doethineb iw henuriaid ef.
23 [q]Yna'r aeth Israel i'r Aipht, ac Iacob a qGen. 46
ymdeithiodd yn nhir Ham. 4 a 10, 6
24 Ac efe a gynnyddodd ei bobl yn ddirfawr:
ac ai gwnaeth yn gryfach nai gwrthwynebwŷr.
25 Trodd eu calon hwynt i gasau ei bobl ef,
ac i wneuthur yn ddichellgar ai weision ef.
26 [r][Yna]'r anfonodd efe Moses ei was, [ac] rEx.4,12
Aaron yr hwn a ddewisase efe.
27 [s]Gosodasant eiriau ei arwyddion ef yn eu sEx.7,2,
plith hwynt: a rhyfeddodau yn nhir Ham. 3
28 [t]Efe a anfonodd dywyllwch, ac a dywyll- t Ex.10,
odd: ac nid anufyddhasant hwy ei air ef. 22 Sal.50,10
29 [u]Efe a drodd eu dyfroedd yn waed, ac a uEx.7,20
laddodd eu pyscod hwynt.
30 [v]Eu tir a heigiodd lyffaint yn stafelloedd vEx.8,3
eu brenhinoedd. Esa.19,2
31 [w]Efe a ddywedodd, a daeth cymmysc-bla, wSal.78,
[a] llau yn ei holl fro hwynt. 45 Ex.8,19
32 [x]Efe a roddes eu glaw hwynt yn genllysc, xEx.9,23
ac yn fflammau tân yn eu tir. a 9,24
33 Tarawodd hefyd eu gwin-wŷdd, ai ffigus-
wydd: ac a ddrylliodd goed eu gwlad hwynt.
34 [y]Efe a ddywedodd, a daeth celioc rhedyn yEx.10,4
a'r lindis yn anneirif,
35 Y rhai a fwytasant yr holl las-wellt yn
eu tir hwynt: ac a ddifasant ffrwyth eu daiar
hwynt. zEx.12,
36 [z]Tarawodd hefyd bob cyntaf-anedic yn 29 Gen.49

eu tir hwynt, [sef] blaen-ffrwyth ei holl nerth
hwynt.
a Ex. 12, 37 37 [a] Ac ai dug hwynt allan ag arian, ac ag aur:
ac heb [un] llesc yn eu llwythau hwynt.
b Ester 8, 17 38 [b] Llawenychodd yr Aipht pan aethant allan,
canys syrthiase eu harswyd arnynt hwy.
c Ex. 13, 21 39 [c] Efe a estynnodd gwmmwl yn dô, a thân i
Neh. 9,10 oleuo liw nos.
d Num. 11, 1 40 [d] Gofynnasant, ac efe a ddug sofl-ieir, ac ai
Ex. 16, 1 diwallodd â bara nefol.
e 1 Cor. 10, 4 41 [e] Efe a holltodd y graig, a'r dwfr a ddelif-
Num. 20, 11 odd, [ac] afonydd a gerddasant ar hyd [lleoedd]
sychion.
f Ex. 2, 24 42 [f] Canys efe a gofiodd ei air sanctaidd, ac
Abraham ei was.
g Sal. 106, 12 43 [g] Ac a ddug ei bobl allan mewn llawenydd:
ai etholedigion mewn gorfoledd.
h Dan. 2, 44 44 [h] Ac a roddes iddynt dir y cenhedloedd: a
gorescynnasant lefur y bobloedd.
45 Fel y cadwent ei ddeddfau ef, ac y cynnal-
ient ei gyfreithiau. Molwch yr Arglwydd.

Pryd-nawnol weddi.

## PSALM CVI.

*Molwch yr Arglwydd.*

i 1 Thes. 5, 8 CLODFORWCH [i] yr Arglwydd canys da
[yw:] o herwydd ei drugaredd [a beru]
yn dragywydd.
j 2 Cor. 8, 12 2 [j] Pwy a draetha gadernid yr Arglwydd? [ac]
a fynega ei holl fawl ef?
k Sal. 15, 2 Gal. 6, 9 3 [k] Gwyn eu byd a gadwant farn: [a'r] hwn a
Act 24, 16 wnel gyfiawnder bob amser.
l Luc 16, 8 4 [l] Cofia fi Arglwydd yn ol [dy] raslonrwydd
Neh. 13, 29 i'th bobl, ymwel â mi a'th iechydwriaeth.
Heb. 4, 16 5 [m] Fel y gwelwyf ddaioni dy etholedigion,
m Ier. 17, 6 gan lawenychu yn llawenydd dy genhedlaeth:
Sal. 27, 4 a 34, 2 [a] chau orfoleddu gyd a'th etifeddiaeth.
n Lef. 26, 40 6 [n] Pechasom gyd a'n tadau, gwnaethom gam-
Dan. 9, 5 wedd, anwir fuom.
7 Ein tadau ni ddeallasant dy ryfeddodau yn
yr Aipht, ni chofiasant luosogrwydd dy dru-
gareddau: eithr annufydd fuant wrth y môr
[sef] y môr coch.
o Ezec. 20, 44 8 [o] Etto efe ai hachubodd hwynt er mwyn ei
enw: i beri adnabod ei gadernid.
p Mat. 8, 26 9 [p] Ac a geryddodd y môr coch fel y sychodd
Nah. 1, 4 efe: a gwnaeth iddynt fyned trwy'r dyfnder
Ex. 15, 5 megis trwy'r anialwch:
10 Achubodd hwynt hefyd o law y digasog:
ac ai gwaredodd o feddiant y gelyn.
q Ex. 15, 5 11 [q] A'r dyfroedd a doasant eu gwrthwyneb-
wyr: ni adawyd un o honynt.
r Ex. 14, 27 a 15, 1 12 [r] Yna y credasant iw eiriau ef: [ac] y can-
asant ei fawl ef.
s Ex 15, 24 13 [s] Yn y fan yr anghofiasant ei weithredoedd
ef, ni ddisgwiliasant am ei gyngor ef.
t 1 Cor. 10, 4 14 [t] Eithr blyssiasant yn ddirfawr yn yr an-
Num. 20, 14 ialwch: a themptiasant Dduw yn y diffaethwch.

15 [u] Ac efe a roddes eu dymuniad iddynt, ac u Esa. 10, 16
a anfonodd gulni arnynt.
16 [v] Cyffroasant hefyd Moses yn y gwersyll: v Num. 16, 1
[ac] Aaron sanct yr Arglwydd.
17 [w] Y ddaiar a agorodd, ac a lyngcodd Dda- w Num. 16, 32
than, ac a orchguddiodd gynnulleidfa Abiram.
18 [x] Cynneuodd tân hefyd yn eu cynnulleidfa x 2 Thes. 1, 8
hwynt: fflam a loscodd y rhai annuwiol.
19 Llo a wnaethant yn Horeb: ac ymgrym-
asant i'r ddelw dawdd.
20 [y] Felly y troasant eu gogoniant i lûn eidion y Ier. 2, 11
yn poru glas-wellt. 2 Cron. 11, 15
21 Anghofiasant Dduw eu hachub-wr, yr hwn
a wnelse [bethau] mawrion yn yr Aipht.
22 [z] [Pethau] rhyfedd yn nhir Ham: pethau z Ex. 32, 10
ofnadwy wrth y môr coch.
23 Ac efe a ddywedase am eu dinistrio hwynt, Ezec. 13, 5 a 22, 30
oni buase i Moses ei etholedig ef sefyll ar yr Ex 32, 11
adwy oi flaen ef, i droi ei llidiawgrwydd rhag
[eu] dinistrio.
24 [a] Diystyrasant hefyd y tîr dymunol: [ac] ni a Deut. 8, 7
chredasant ei air ef.
25 Grwgnachasant hefyd yn eu pebyll: ac ni Ezec. 20, 6
wrandawsant ar lais yr Arglwydd. Heb. 3, 9
26 Yna y derchafodd efe ei law yn eu herbyn
hwynt, iw cwympo yn yr anialwch,
27 Ac i gwympo eu had ym mysc y cenhedl-
oedd, ac iw gwascaru hwynt drwy'r tiroedd.
28 [b] Ymgymharasant hefyd a Baalpeor, a b Num. 25, 3
bwyttasant ebyrth y meirw. 2 Cor. 6, 14
29 Felly y digiasant [ef] ai dychymmygion eu Ier. 16, 5,
hunain: ac y tarawodd plâ yn eu mysc hwy. 10
30 [c] Yna y safodd Phinehes, ac a iawn farn- c Num. 25, 7, 8
odd: a'r plâ a attaliwyd.
31 [d] A chyfrifwyd [hyn] iddo yn gyfiawnder: d Num. 25, 11, 12,
o genhedlaeth i genhedlaeth byth. 13
32 Llidiasant ef hefyd wrth ddyfroedd y gyn-
nen: a drygwyd Moses oi plegit hwynt.
33 [e] O herwydd cythruddo o honynt ei yspryd e Eph. 4, 30
ef, fel y camddywedodd ai wefusau. Num. 20, 10, 12
34 [f] Ni ddinistriasant y bobloedd, megis y f Barn. 1, 21, 27, 29, 30 31
dywedase'r Arglwydd wrthynt.
35 [g] Eithr ymgymmyscasant a'r cenhedloedd: Deut. 7, 2
a dyscasant eu gweithredoedd hwynt. g 1 Cor. 5, 6
36 [h] A gwasanaethasant eu gau dduwiau Barn. 2, 12
hwynt, y rhai a fuant yn fagl iddynt: h Ex. 23, 33
37 Aberthasant hefyd eu meibion, ai merched Barn. 3, 14 15
i gythreuliaid,
38 Ac a dywalltasant waed gwirion [sef] gwaed
eu meibion, ai merched, y rhai a aberthasant
i gau dduwiau Canaan, ac a halogwyd y tir
a'r gwaed.
39 Felly'r ymhalogasant yn eu gweithredoedd
eu hun, ac y putteiniasant gyd ai dychym-
mygion.
40 [i] Am hynny y cynneuodd dig yr Arglwydd i Barn. 3, 8 a 4, 2

yn erbyn ei bobl, ac y ffieiddiodd efe ei etifeddiaeth.

41 Ac efe ai rhoddes hwynt yn llaw'r cenhedloedd, ai caseion a lywodraethasant arnynt.

42 Eu gelynnion hefyd ai gorthrymmasant, a gostyngwyd hwynt tann eu dwylo hwy.

j Barn 2 13 Neh 9 28 30 — 43 j Llawer gwaith y gwaredodd efe hwynt, hwythau ai digiasant [ef] ai cyngor eu hun: a hwynt a gystuddiwyd am eu hanwiredd.

k Barn 10 16 2 Bren 14 26 27 l Deut 30 3 — 44 k Ond efe a edrychodd pan oedd ing arnynt: pan glywodd eu llefain hwynt.

45 l Ac efe a gofiodd ei gyfammod â hwynt, ac a dosturiodd yn ol lluosogrwydd ei drugareddau.

46 Ac ai rhoddes hwynt i [gael] trugaredd o flaen y rhai oll ai caethiwasent hwy.

m Sal 115 1 Zec 7 5 Hos 10 1 — 47 m Achub ni O Arglwydd ein Duw: a chynnull ni o blith y cenhedloedd, i glodfori dy enw sanctaidd: ac i orfoleddu yn dy foliant.

48 Bendigedic yw Arglwydd Dduw Israel er ioed, ac yn dragywydd: a dyweded yr holl bobl, Felly y byddo. Molwch yr Arglwydd.

## PSALM CVII.

Boreuol weddi n Sal 119 68 Mat 19 17 — CLODFORWCH n yr Arglwydd canys da yw; o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.

o Dat 7 9 15 14 — 2 o [Felly] dyweded gwaredigion yr Arglwydd, y rhai a waredodd efe o law'r gelyn,

p Sal 106 47 — 3 p Ac a gasclodd efe o'r tiroedd, o'r dwyrain, ac o'r gorllewyn, o'r gogledd, ac o'r dehau.

4 Cyrwydrasant yn yr anialwch [ac] mewn diffaethwch [allan o'r] ffordd: heb gael dinas i aros ynddi.

q Gen 21 15 Barn 15 18 — 5 q Yn newynog ac yn sychedig eu henaid a lewygodd ynddynt.

6 Yna y llefasant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder; [ac] efe ai gwaredodd oi gorthrymder.

r Ezra 8 21 Heb 11 10 — 7 r Ac ai tywysodd hwynt ar hyd ffordd iniawn, i ddyfod i ddinas gyfanneddol.

8 Cyffessant o flaen yr Arglwydd ei drugaredd ef, ai ryfeddodau [a wnaeth efe] i feibion dynnion.

s Luc 1 53 — 9 s Canys diwallodd efe yr enaid sychedig, ac a lanwodd yr enaid newynog â daioni.

t Luc 1 79 Iob 36 8 9 — 10 t Y rhai a bresswyliant dywyllwch a chyscod angeu, yn rhwym [mewn] cystudd a haiarn,

u Galar 3 35 Luc 7 30 — 11 u O herwydd annufyddhau o honynt eiriau Duw, a dirmygu cyngor y Goruchaf.

12 Yntef a ostyngodd eu calon â blinder; syrthiasant, ac nid oedd cynnorthwy-wr.

v Hos. 5, 15 Adu 6 — 13 v Pan waeddasant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder; efe ai hachubodd oi gorthrymder.

w Act 5 18 a 12 7 Sal 44 4 — 14 w Dug hwynt allan o dywyllwch, a chyscod angeu; a drylliodd eu rhwymau hwynt.

15 Cyffessant hwythau o flaen yr Arglwydd ei drugaredd, ai ryfeddodau [a wnaeth efe] i feibion dynnion.

16 x Canys efe a dorrodd y pyrth pres, ac a ddrylliodd y barrau heirn. — x Act 12 6 Esa 45 2

17 y Ynfydion o blegit eu camweddau, ac o herwydd eu hanwireddau a gystuddir. — y Galar. 1 8 Heb 3 12

18 Eu henaid a ffieiddie bob bwyd: a daethant hyd byrth angeu.

19 z Yna y gwaeddasant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder: [ac] efe ai hachubodd oi gorthrymder. — z Iob 33 20

20 a Anfonodd efe ei air, ac iachaodd hwynt; ac ai gwaredodd oi methiant. — a 2 Bren 20 1 4 5 Iob 34 19 —24

21 Cyffessant hwythau o flaen yr Arglwydd ei drugaredd ef; ai ryfeddodau [a wnaeth efe] i feibion dynnion, — Sal 103 4 Iob 33 28 30

22 b Aberthant hefyd aberth moliant; a mynegant ei weithredoedd ef mewn gorfoledd. — b Heb 13 17 Sal 50 14 a 116 17

23 c Y rhai a ddescynnant mewn llongau i'r môr, gan wneuthur eu gorchwyl mewn dyfroedd mawrion; — c Dat 18 7

24 Hwynt a welsant weithredoedd yr Arglwydd; ai ryfeddodau yn y dyfnder.

25 d Canys dywedodd efe, a chododd temhestl-wynt: ac a dderchafodd ei donnau. — d Ionat 4

26 e [Y rhai] a escynnasant i'r nefoedd, [ac] a ddescynnasant i'r dyfnder, [fel] y toddodd eu henaid gan flinder. — e Nah 2 12

27 Ymdroasant, ac ymsymmudasant fel meddwyn: a methodd eu holl ddoethineb.

28 f Yna y gwaeddasant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder, ac efe ai dygodd hwynt allan oi gorthrymder. — f 2 Cron. 20 12 Mat 8 25

29 g Gwnaeth i'r storm sefyll yn dawel: ai tonnau a ostegasant. — g Mat 8 26

30 Yna y llawenhausant am eu gostegu, ac efe ai dug i'r porthladd a ddymunasent.

31 Cyffessant hwythau o flaen yr Arglwydd ei drugaredd ef a'i ryfeddodau [a wnaeth efe] i feibion dynnion.

32 A derchafed cynnulleidfa y bobl ef, a moliannant efe yn eisteddfod yr henuriaid.

33 h Efe a osododd y llifeiriant yn ddiffaethwch: a ffynhonnau dyfroedd yn ddispydd. — h Esa 32 20 Preg 11 1 Deut 8,15 Esa 41 17

34 [A] thir ffrwythlawn yn ddiffrwyth: am ddrygioni y rhai a drigent ynddo.

35 i Gosododd yr anialwch yn llynn dwfr: a'r tir cras yn ffynhonnau dwfr. — i Esa 41 18

36 Ac yno y gwnaeth i'r newynog aros; ac y darparasant ddinas gyfanneddol,

37 Ac yr hauasant feusydd, ac y plannasant win-llannoedd, ac y dugasant ffrwyth toreithog:

38 j Canys bendithiase hwynt fel yr amlhasant yn ddirfawr, ac ni adawodd i'w hanifeiliaid leihau. — j Diar 10 22 Sal 127 1 Ex 1 7

39 k Wedi hynny y lleihauwyd hwynt, ac y gostyngwyd gan gyfyngder dryg-fyd a chyni: — k Deut 23 18

l Iob 12,21 40 l Tywalltodd ddirmyg ar foneddigion, a
Dat. 19 17 gwnaeth iddynt gyrwydro mewn anialwch heb
18 ffordd.
41 Ond efe a gododd y tlawd o gystudd, ac a
osododd [ei] deuluoedd fel praidd.
m Sal. 58 42 m Y rhai iniawn a welant, ac a lawenychant:
10 a phob anwiredd a gaea ei safn.
Iob 5 16 n Hos. 14 43 n Pwy [sydd] ddoeth fel y cadwo hyn? ac
10 Ier 9 12 y deallant drugareddau 'r Arglwydd?
Dan 12 10 Sal 25 12

## PSALM CVIII.

*Cân neu Psalm Dafydd.*

Pryd-nawnol weddi PAROD yw fyng-halon O Dduw, [parod]
yw fyng-halon; canaf a chanmolaf a'm
gogoniant.
o Esa 64,7 2 o Deffro [dithe fyng-ogoniant, deffro] y nabl
a'r delyn, deffroaf yn foreu.
p Barn 5 3 p Clodforaf di Arglwydd ym mysc y bobl-
14 Zec 11,10 oedd; canmolaf di ym mysc y cenhedloedd.
q Sal 36 5 4 q Canys mawr yw dy drugaredd oddi ar y
Dat 11 15 nefoedd, a'th wirionedd hyd yr wybr.
5 Ymddercha O Dduw uwch y nefoedd; a
bydded dy ogoniant ar yr holl ddaiar.
6 Fel y gwareder dy rai annwyl; achub a'th
ddeheu-law, a gwrando fi.
r Sal 89 7 r Duw a lefarodd yn ei sancteiddrwydd ([am
35, 36 hynny] y llawenychaf) rhannaf Sichem, a mes-
Ios 1 6 Barn 8 5 suraf ddyffryn Succoth.
s 2Sam 2 8 s Eiddo fi [yw] Gilead, [ac] eiddo fi [yw]
8, 9 Manasses; Ephraim hefyd [yw] nerth fy mhen;
Deut 33 17 Iuda [yw] fy neddf-wr.
Sal 122 5 t 2Sam 8 9 t Moab [fydd] fyng-hrochan golchi, ar Edom
2 Gen 10 14 y taflaf fy esgid: buddugoliaethaf yn erbyn
Palestina.
10 Pwy a'm dwg fi i'r ddinas gadarn? pwy
a'm dwg hyd yn Edom?
u Esa 12 1 11 u Onid tydi O Dduw ['r hwn] a'n ffieidd-
Sal 44 9 iaist, ac nid eit ti allan O Dduw gyd a'n lluoedd.
12 Dyro i mi gynnorthwy rhag y gelyn, canys
gau yw ymwared dyn.
v Num 24 13 v Trwy Dduw y gwnawn wroldeb, ac efe
18 Esa 63 3 a sathr ein gorthrym-wyr.

## PSALM CIX.

*At y Pen-cerdd Psalm Dafydd.*

w 2Cor 10 NA w thaw di O Dduw fy moliant.
18 Rhuf 2, 2 Canys genau yr annuwiol, a genau y
29 twyllodrus a ymagorasant arnaf; â thafod gau
y llefarasant i'm herbyn.
3 Cylchynasant fi hefyd â geiriau câs, ac ym-
laddasant â mi heb achos.
x Ioan 8 4 x Am fyng-hariadigrwydd i'm gwrthwyneb-
32 Ier 10 30 asant; minne [a arferais] weddi.
Act 6 4 y Sal 35 12 5 y Gosodasant hefyd i'm herbyn ddrwg a'm
dda; a châs am fyng-hariad.
6 Gosot [tithe un] annuwiol arno ef, a safed
Satan wrth ei ddeheu-law ef.
7 Pan farner ef, eled yn euog, a bydded ei
weddi yn bechod.
8 z Ychydig fyddo ei ddyddiau; [a] chym- z Sal 55
mered arall ei esgobaeth ef. 24 Act 1 20
9 a Bydded ei blant yn ymddifaid; ai wraig a Ier 18 21
yn weddw.
10 Gan gyrwydro hefyd cyrwydred ei blant
ef, a chardottant: ceisiant hefyd [eu bara] oi
hang-hyfannedd leoedd.
11 Rhwyded y ceisiad yr hyn oll [sydd] gan-
ddo: ac anrheithied dieithriaid ei lafur ef.
12 Na fydded [neb] a estynno drugaredd
iddo; ac na fydded [neb] a drugarhao wrth ei
ymddifaid ef.
13 b Bydded ei hiliogaeth ef yn ddinistr, deleer b Sal 37
ei enw yn yr oes nessaf. Iob 18,19 Diar 10,7
14 c Coffaer anwiredd ei dadau o flaen yr Ar- c Ex 20,5
glwydd; ac na ddeleer pechod ei fam ef.
15 d Byddant bob amser ger bron yr Arglwydd d Iob 18 17
a thorred efe ddydd eu coffadwriaeth o'r tir. Sal 112 6
16 e Am na chofiodd wneuthur trugaredd, e Sal 34,18
eithr erlyd o honaw y truan a'r tlawd, a'r cys- a 102,5
tuddiedic o galon iw ladd.
17 f Hoffodd felldith, a hi a ddaeth iddo ef; ni f 1Thes 1
fynne fendith, a hi a bellhaodd oddi wrtho ef. 16 2 Thes 1
18 g Ie gwiscodd felldith fel dilledyn, a hi a 10 Diar 14,
ddaeth fel dwfr iw fewn, ac fel olew iw escyrn. 14 g Num 5,
19 Bydded iddo fel dilledyn [yr hwn] a wisco 22
efe, ac fel gwregys a wregyso efe yn oestadol.
20 Hyn [fyddo] tal fyng-wrthwyneb-wyr gan
yr Arglwydd; a'r rhai a ddywedant niwed yn
erbyn fy enaid.
21 h Tithe Arglwydd Dduw gwna â mi yn ol h Sal 6,4
dy enw, am fod yn dda dy drugaredd, a gwaret fi. a 106 8
22 Canys truan a thlawd [ydwyfi,] am calon
a archollwyd o'm mewn.
23 i Euthum fel cyscod pan gilio, fel ceiliog i Sal 102 11
rhedyn i'm hescydwyd,
24 j Fyng-liniau a aethant yn egwan gan ym- j Heb 12
prydio, a'm cnawd a guriodd o eisieu brasder. 12 Sal 73 26
25 k Gwarthrudd hefyd oeddwn iddynt; [pan] k Mat 27
welent fi siglent eu pennau. 39 Brenh 19 21
26 Cynnorthwya fi O Arglwydd fy Nuw,
achub fi yn ol dy drugaredd.
27 Fel y gwypant mai dy waith di [yw] hyn;
[ac mai] ti Arglwydd ai gwnaethost.
28 l Melldithiant hwy, tithe a fendithi, cywil- l 2Sam 16
yddier y rhai a gyfodant [i'm herbyn:] a llawen- 12 Gen 27 11 Esa 65 14
ycher dy was.
29 m Gwiscer fyng-wrthwyneb-wyr a gwarth, m Sal 35
ae ymwiscant yn eu cywilydd megis â chochl. 26 Dat 6 6
30 Clodforaf yr Arglwydd yn ddirfawr a'm
genau; moliannaf ef ym mysc llawer.
31 O herwydd efe a saif ar ddeheu-law'r
tlawd; iw achub oddi wrth y rhai a farnant ei
enaid ef.

## PSALM CX.

*Psalm Dafydd.*

Boreuol weddi.
n Mat. 22, 42 1 Cor. 15, 25 a 15, 24 DYWEDODD [n] yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheulaw hyd oni osodwyf dy elynnion yn faingc i'th draed.
o Esa 11, 5 a 2, 3 2 [o] Gwialen dy nerth a enfyn yr Arglwydd o
Sïon: llywodraetha di ym mysc dy elynnion.
p Act. 2, 41 3 [p] Dy bobl [a offrymmant] yn ewyllyscar, yn
Rhuf 1, 16 nydd dy nerth mewn harddwch sanctaidd: o
Dat. 19, 14 Luc 2, 35 grôth y wawr [y mae] gwlith dy anedigaeth i ti.
q Heb. 7, 2 4 [q] Tyngodd yr Arglwydd, ac nid edifarhâ
efe: ti [ydwyt] offeiriad yn dragywyddol yn ol
urdd Melchisedec.
5 Yr Arglwydd ar dy ddeheu-law a archolla
frenhinoedd yn nydd ei ddigofaint.
r Dat. 19, 20 6 [r] Efe a farn ym mysc y cenhedloedd, lleinw
[lawer lle] â chelanedd: archolla benn llawer
gwlad.
s Phil. 2, 8 7 [s] Efe a ŷf o'r afon ar y ffordd, am hynny y
Dat. 3, 21 dercha efe [ei] benn.

## PSALM CXI.

*Molwch yr Arglwydd.*

CLODFORAF yr Arglwydd a'm holl galon: yn nirgelfa y rhai iniawn, ac yn y gynnulleidfa.
t Esa. 62, 12 2 [t] Mawr [yw] gweithredoedd yr Arglwydd:
hyspys i bawb ai hoffant.
u Sal. 145, 5, 10 3 [u] Gogoniant a harddwch [yw] ei waith ef: ai
Sal. 102, 27 gyfiawnder sydd yn parhau byth.
v Dat. 15, 3 4 [v] Gwnaeth goffa am ei ryfeddodau, graslawn
a thrugarog [yw]'r Arglwydd.
w Mat. 6, 6 5 [w] Rhoddodd ymborth i'r rhai ai hofnant ef,
efe a gofia ei gyfammod yn dragywydd.
x Ier. 33, 3 6 [x] Mynegodd iw bobl gadernid ei weithred-
Dat. 2, 26 oedd: gan roddi iddynt etifeddiaeth y cenhedl-
oedd.
y Dat. 15, 7 [y] Gwirionedd a barn [yw] gweithredoedd ei
Sal. 19, 8 ddwylaw ef: ei holl orchymynnion [ydynt]
103, 8 ffyddlon:
8 Wedi eu siccrhau byth yn dragywydd, [ai]
gwneuthur mewn gwirionedd, ac iniawnder.
z 1 Pedr 1 9 [z] Anfonodd ymwared iw bobl, gorchymyn-
Mat. 1, 21 nodd ei gyfammod yn dragywyddol: sancteidd-
iol, ac ofnadwy [yw] ei enw ef.
a Diar. 1, 10 [a] Dechreuad doethineb [yw] ofn yr Ar-
Sal. 15, 5 glwydd: deall da [sydd] gan y rhai ai harferant
hwy, y mae ei foliant ef yn parhau byth.

## PSALM CXII.

*Molwch yr Arglwydd.*

b Sal. 1, 2 119, 16, 35, 47, 70 GWYN [b] ei fyd y neb a ofno'r Arglwydd, [ac] sydd yn hoffi ei orchymynnion ef yn ddirfawr.
c 1 Tim. 4, 2 [c] Ei had fydd cadarn yn y tir, cenhedlaeth
y rhai iniawn a fendithir.
3 [d] Golud a chyfoeth [fydd] yn ei dŷ ef: ai d Mat. 6, 33
gyfiawnder sydd yn parhau byth.
4 [e] Cyfododd goleuni i'r rhai iniawn yn y ty- e Ester. 8, 16
wyllwch: trugarog, a thosturiol, a chyfiawn 2 Cor. 4, 6
[yw efe.]
5 [f] Gŵr da [fydd] trugarog, a chymmwynas- f Sal. 18, 14
car: wrth farn y llywodraetha efe ei eiriau. Diar. 13, 16
6 Canys byth nid yscogir ef, y cyfiawn, fydd Eph. 5, 15
byth mewn coffadwriaeth.
7 Nid ofna efe rhag chwedl drwg, ei galon
sydd yn ddisigl yn ymddyried yn yr Arglwydd.
8 Attegwyd ei galon [fel] nad ofno efe hyd
oni welo ei ewyllys ar ei elynnion.
9 [g] Rhannodd, [a] rhoddodd i'r tlodion, ai g 2 Cor. 9, 9
gyfiawnder sydd yn parhau byth: ei gorn a
dderchefir mewn gogoniant.
10 [h] Yr annuwiol a wel [hyn,] ac a ddigia, efe h Sal. 73,
a escyrnyga ei ddannedd, ac a dawdd ymmaith: 19 a 58, 8 Diar. 10,
derfydd am ddymuniad y rhai annuwiol. 24 a 13, 9

## PSALM CXIII.

*Molwch yr Arglwydd.*

GWEISION yr Arglwydd molwch: [ïe] molwch enw'r Arglwydd.
2 [i] Bendigedic fyddo enw'r Arglwydd o hyn i Dan. 2, 20
allan yn dragywydd. Luc 1, 68
3 O godiad haul hyd ei fachludiad moliannus Dat. 4, 8
yw enw'r Arglwydd.
4 [j] Yr Arglwydd a dderchafwyd ar yr holl j Eph. 1, 20
genhedloedd: ei ogoniant ef [sydd] goruwch y
nefoedd.
5 Pwy [sydd] fel ein Harglwydd Dduw ni, yn
presswylio yn uchel?
6 [k] [Ac] yn ymddarostwng i edrych [pethau] k Sal. 138, 6
yn y nefoedd, ac yn y ddaiar?
7 [l] Yr hwn sydd yn codi y tlawd o'r llwch: l 1 Sam. 2, 8
[ac] yn derchafu yr anghenus o'r tommennau.
8 Iw osod gydâ phendefigion: [ïe] gydâ phen-
defigion ei bobl.
9 [m] Yr hwn sydd yn gosod yr amhlantadwy m Ruth 4, 11
yn dylwythoc, [ac] yn llawen-fam plant, can- Gal. 4, 26
molwch yr Arglwydd.

Prydnawnol weddi.

## PSALM CXIV.

PAN [n] ddaeth Israel o'r Aipht [a] thŷ Iacob oddi wrth bobl ang-hyfiaith. n Ex. 13, 3 Sal. 81, 1
2 Iuda oedd ei sancteiddrwydd ef: [ac] Israel
ei arglwyddiaeth.
3 [o] Y môr a welodd [hyn,] ac a giliodd: yr o Ex. 14, 21
Iorddonen a drodd yn ol. Ios. 3, 13
4 [p] Y mynyddoedd a neidiasant fel hyrddod, p Ex. 19, 18
[a'r] bryniau fel ŵyn defaid. Hab. 3, 6
5 Beth [ddarfu] i ti O fôr pan giliaist? [tithe]
Iorddonen [pa ham] y troaist yn ol?
6 [Pa ham] fynyddoedd y neidiech fel hyrdd-
od? [a'r] bryniau fel ŵyn defaid?
7 [q] Ofna di ddaiar rhag yr Arglwydd: [sef] q Dat. 6, 14
rhag Duw Iacob. Esa 65, 16

CXI. adnod 5.] "Ymborth." Sef, heb lafurio am dano, felly y mae "Bara y bywyd yn rhad." Etto, pawb a'i bwyttaont ydynt awyddus i weithredoedd da!

RHIF. XIII.

rDeut.8, 8 r Yr hwn sydd yn troi'r graig yn llynn dwfr,
15 [a'r] gallestr yn ffynnon ddwfr.

## PSALM CXV.

s1Cor.10, NID s i ni O Arglwydd, nid i ni, onid i'th
10 enw dy hun dod ti ogoniant o herwydd
Esa.48,11 dy drugaredd a'th wirionedd.
2 Pa ham y dywed y cenhedloedd, Pa le yn
awr [y mae] eu Duw hwynt?
tMat.6,9 3 t Canys ein Duw ni [sydd] yn y nefoedd:
Eph.1,5 efe a wnaeth yr hyn a fynnodd oll.
u1Sam. 4 u Eu delwau hwy [ydynt] o aur, ac arian,
31, 9 Dat.9,20 [sef] o waith dynnion.
vHab.2, 5 v Genau [sydd] iddynt, ac ni lefarant, llygaid
18 [sydd] ganddynt, ac ni welant.
6 [Y mae] clustiau iddynt, ac ni chlywant,
ffroenau [sydd] ganddynt, ac ni aroglant.
wIer.10, 7 w Dwylo [sydd] iddynt, ac ni theimlant:
5, 4 Deut. 4, traed [sy] iddynt, ac ni cherddant: ni leisiant
28 [ychwaith] ai gwddf.
xEsa.44, 8 x Y rhai ai gwnant ydynt fel hwythau, [a]
10, 11 Iona 2, 8 phob un a ymddyriedo ynddynt.
yIer.24, 9 y [Tŷ] Israel ymddyriet ti yn yr Arglwydd,
15 Deut.4,1 efe yw eu porth, ai tarian.
10 Tŷ Aaron ymddyriedwch yn yr Arglwydd:
efe yw eu porth, ai tarian.
zAct.2,5 11 z Y rhai a ofnwch yr Arglwydd, ymddyr-
iedwch yn yr Arglwydd: efe yw eu porth, ai
tarian.
aEph.1,3 12 a Yr Arglwydd a'n cofiodd ni, efe [a'n]
bendithia, bendithia efe dŷ Israel: bendithia efe
dŷ Aaron.
bGal. 3, 13 b Bendithia efe y rhai a ofnant yr Arglwydd,
28 fychain, a mawrion.
14 Yr Arglwydd a chwanega [ei ddonniau]
arnoch [sef] arnoch chwi, ac ar eich plant.
cGen.14, 15 c Bendigedic ydych chwi gan yr Arlgwydd,
19 a 27,33 yr hwn a wnaeth nefoedd a daiar.
d1Bren. 16 d Y nefoedd [ïe]'r nefoedd [ydynt] eiddo
8, 30 yr Arglwydd: efe a roddes y ddaiar i feibion
dynnion.
eEsa. 38, 17 e Y meirw ni foliannant yr Arglwydd, na'r
18 rhai oll a ddescynnant i ddistawrwydd.
fDan. 2, 18 f Ond nyni a fendithiwn yr Arglwydd o hyn
20 allan yn dragywydd. Molwch yr Arglwydd.

## PSALM CXVI.

Boreuol DA gennif wrando o'r Arglwydd ar fy llef
weddi. a'm gweddiau.
gDat. 2, 2 g Am ostwng o honaw ef ei glust attaf, llefaf
10 tros fy nyddiau [arno ef.]
h1Sam. 3 h Maglau angeu a'm cylchynasant, a gofid-
23, 26 iau uffern a'm daliasant, ing a blinder a gefais.
iDiar.18, 4 i Ond mi alwaf ar enw'r Arglwydd, attolwg
10 Ezec. 36, Arglwydd gwaret fy enaid.
37 j2Thes.1 5 j Trugarog [yw]'r Arglwydd, a chyfiawn, a
6 thosturiol yw ein Duw ni.
kSal. 25, 6 k Yr Arglwydd sydd yn cadw y rhai an-
21 nichellgar: tlodais, ac efe a'm hachubodd.
7 l Dychwel O fy enaid i'th orphwysfa, canys
yr Arglwydd fu dda wrthit. lMat.11, 29
8 O herwydd it waredu fy enaid oddi wrth
angeu, fy llygaid oddi wrth ddagrau, a'm traed
rhag llithro:
9 m Rhodiaf o flaen yr Arglwydd yn nhiroedd mBren. 20, 3
y rhai byw.
10 n Credais, am hynny y lleferais: cystudd- n2Cor.4,
iwyd fi'n ddirfawr. 13
11 o Mi a ddywedais yn fy ffrwst, Pob dyn oSal.31,
[sydd] gelwyddoc. 22 1Sam.27,
12 Beth a dalaf i'r Arglwydd [am] ei holl 1
ddaioni i mi?
13 p Phiol iechydwriaeth a gymmeraf, ac ar p1Cron.
enw'r Arglwydd y galwaf. 6, 1, 3 1Cor.10,
14 Fy addunedau a dalaf i'r Arglwydd, yn 16
awr o flaen ei holl bobl ef.
15 q Gwerth-fawr yng-olwg yr Arglwydd [yw] qSal.72,
marwolaeth ei sainct ef. 14 a37,28,33
16 r Wele O Arglwydd, o herwydd mai dy rSal.86,
was di [ydwyfi,] (dy was di [ydwyfi,] [sef] mab 16 1Sam.25,
dy wasanaeth-wraig,) y dottodaist fy rhwymau. 27
17 Aberthaf i ti aberth moliant: a galwaf ar
enw'r Arglwydd.
18 s Talaf fy addunedau i'r Arglwydd yn awr sLef.47
o flaen ei holl bobl, Sal 61,5 1Pedr 5,
19 t Yng-hynteddoedd tŷ'r Arglwydd o'th 5
fewn di O Ierusalem. Molwch yr Arglwydd. t1Cor.14, 26

## PSALM CXVII.

MOLWCH u yr Arglwydd yr holl gen- uRhuf.15,
hedloedd: clodforwch ef yr holl bobl- 7 Luc2,10
oedd.
2 O herwydd ei drugaredd ef wrthym ni sydd
fawr: a gwirionedd yr Arglwydd [a beru] yn
dragywydd. Molwch yr Arglwydd.

## PSALM CXVIII.

CLODFORWCH v yr Arglwydd, canys da v1Cron.
yw, o herwydd ei drugaredd [a beru] yn 16, 8
dragywydd.
2 w Dyweded Israel yr awr hon [mai daionus wGal.6,
yw efe, [a] mai yn dragywydd [y peru] ei dru- 16
garedd ef.
3 x Dyweded tŷ Aaron yn awr, mai'n dragy- xHeb.13,
wydd [y peru] ei drugaredd ef. 7, 17
4 y Yn awr dyweded y rhai a ofnant yr Ar- yMal.
glwydd mai'n dragywydd [y mae] ei drugaredd ef. 16
5 z Mewn ing y gelwais ar yr Arglwydd, yr zSal.13,
Arglwydd a'm clybu, [ac a'm gosododd] mewn 1 a 18, 19
ehangder.
6 a Yr Arglwydd [sydd] gyd â mi, nid ofnaf aSal.27,1
beth a wnel dyn i mi.
7 * Yr Arglwydd [sydd] gyd â mi ym mhlith *Heb.13,
fyng-hynnorthwy-wŷr: a mi a gâf weled [fy 6
ewyllys] ar fyng-haseion.
8 b Gwell [yw] gobeithio yn yr Arglwydd, na bIer.17,5

gobeithio mewn dŷn.
cSal.146, 3 9 c Gwell [yw] gobeithio yn yr Arglwydd, na
gobeithio mewn tywysogion.
dDat.17, 14 10 d Yr holl genhedloedd am hamgylchynasant: ond yn enw'r Arglwydd y toraf hwynt
Sal. 20,6 ymmaith.
e 1 Sam. 25, 26 11 e Amgylchynasant fi, ïe amgylchynasant fi,
ond yn enw'r Arglwydd y torraf hwynt ymmaith.
fDeut.1, 44 12 f Amgylchynasant fi fel gwenyn, diffoddasant fel tân drain: o herwydd yn enw'r Arglwydd
Preg.7,6 y torraf hwynt ymmaith.
gSal.9,6 13 g Gan wthio y gwthiaist fi i syrthio: a'r Arglwydd a'm cynnorthwyodd.
hEx.15,2 14 h Yr Arglwydd [yw] fy nerth [a'm] cân: ac
sydd iechydwriaeth i mi.
Dat 19,1 15 i Llef gorfoledd, ac iechydwriaeth [fydd]
Sal. 108, 3 ym mhebyll y cyfiawn: deheulaw'r Arglwydd
sydd yn gwneuthur grymmusder.
16 Dehu-law'r Arglwydd a dderchafwyd, deheulaw'r Arglwydd sydd yn gwneuthur grymmusder.
Hab. 1, 12 17 j Ni byddaf farw eithr byw fyddaf: a mynegaf weithredoedd yr Arglwydd.
2 Cor.6, 9 18 k Gan gospi i'm cospodd yr Arglwydd:
ond ni'm rhoddodd i farwolaeth.
Sal.24,7 Dat.21,27 19 l Agorwch i mi byrth cyfiawnder [fel] yr
elwyf iddynt, [ac] y clodforwyf yr Arglwydd.
Dat.21, 27 20 m Dymma borth yr Arglwydd, y rhai cyfiawn a ânt iddo.
Sal. 18, 6, 49 21 n Clodforaf di, o herwydd i ti fy ng-wrando,
a'th fod yn iechydwriaeth i mi.
Mat. 21, 42 22 o Y maen a wrthododd yr adailad-wŷr a
Eph.2,21 aeth yn benn congl.
3, 20 23 O'r Arglwydd y daeth hyn, hynny [oedd]
Pedr 2, 7, 8 ryfedd yn ein golwg ni.
Can.3, 24 p Dymma'r dydd a wnaeth yr Arglwydd,
Cor.6,2 gorfoleddwn, a llawenychwn ynddo.
25 Attolwg Arglwydd achub yn awr, attolwg
Arglwydd pâr yn awr lwyddiant.
Luc 19, 26 q Bendigedic yw a ddelo yn enw'r Ar-
um. 6, glwydd: bendithiasom chwi o dŷ'r Arglwydd.
Pedr2, 27 r Yr Arglwydd [sydd] Dduw, ac a lewyrch-
Cor. 4,6 odd i ni: rhwymwch yr aberth â rhaffau wrth
gyrn yr allor.
ef. 23, 28 Fy Nuw [ydwyt] ti, am hynny i'th glod-
x. 27, 2 foraf, derchafaf di fy Nuw.
29 Clodforwch yr Arglwydd canys da [yw:]
o herwydd yn dragywydd [y peru] ei drugar-
edd ef.

## PSALM CXIX.

*Aleph.*

GWYN-FYD a y rhai perffaith [eu] ffordd:
y rhai a rodiant yng-hyfraith yr Arglwydd.
2 t Gwyn-fyd y rhai a gadwant ei destiolaeth-
au ef: [ac] ai ceisiant ef ai holl galon.
3 u Yn ddiau [y rhai] ni wnant anwiredd a
rodiant yn ei ffordd ef.
4 Ti a orchymynnaist gadw dy orchymynnion
yn ddyfal.
5 v O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau. v2Cor.3, 5
6 w Yna ni'm gwradwyddid, pan edrychwn ar w 1 Ioan
dy holl orchymynnion. 2, 28 Luc 1, 6
7 Clodforaf di mewn iniondeb calon, pan
ddyscwyf farnedigaethau dy gyfiawnder.
8 Cadwaf dy ddeddfau: na âd fi'n dragywydd.

*Beth.*

9 x PA fodd y glanha llangc ei lwybr? wrth x Preg. 11 9
ymgadw yn ol dy air di. Ioan17,17
10 y A'm holl galon i'th geisiais, na ad i mi y 2Cron. 20, 3
gyfeiliorni oddi wrth dy orchymynnion.
11 z Cuddiais dy ymadroddion yn fyng-halon, z Sal. 37, 31
er mwyn na phechwn i'th erbyn.
12 Ti Arglwydd [wyt] fendigedic: dysc i mi
dy ddeddfau.
13 a A'm gwefusau y treuthais holl farnedig- a Sal. 34, 11
aethau dy enau.
14 Bu mor llawen gennif ffordd dy destiol-
aethau a'r holl olud.
15 Yn dy orchymynnion y myfyrriaf, ac ar
dy lwybrau yr edrychaf.
16 b Yn dy ddeddfau'r ymddigrifaf, [ac] nid bSal.40,8
anghofiaf dy air. Iob 22,26

*Gimel.*

17 c BYDD dda wrth dy was, [fel] y byddwyf c2Cor.11
byw, ac y cadwyf dy air. 23
18 d Dadcuddia fy llygaid, fel y gwelwyf d1Cor.2,
[bethau] rhyfedd yn dy gyfraith. 11
19 e Dieithr ydwyfi yn y tir, na chudd di rha- eHeb. 11
gof dy orchymynnion. 13
20 f Drylliwyd fy enaid gan awydd i'th farned- fSal. 42,1
igaethau bob amser.
21 g Ceryddaist y beilchion: melltigedic [yw] g Ex. 18,
y rhai a gyfeiliornant oddi wrth dy orchym- 11
ynnion.
22 h Tro oddi wrthif gywilydd a dirmyg, o hSal.39,8
blegit dy destiolaethau di a gedwais.
23 i Tywysogion hefyd a eisteddasant: [ac] a iSal. 1, 1
ddywedasant i'm herbyn, dy was dithe a fefyr- Ezec. 33,
rie yn dy ddeddfau. 30
24 j A'th destiolaethau [oeddynt] fy hyfrydwch jDeut.17 19
a'm cynghor-wyr. Ios. 1, 8

*Daleth.*

25 GLYNODD fy enaid wrth y llwch, byw-
ha fi'n ol dy air.
26 k Fy ffyrdd a fynegais, a gwrandewaist fi: kSal 142,
dysc i mi dy ddeddfau. 2 a 27,11
27 l Gwna i mi ddeall ffordd dy orchymyn- lSal. 145,
nion, ac mi a fyfyrriaf yn dy ryfeddodau. 6
28 Diferodd fy enaid gan ofid: bywha fi'n ol
dy air.
29 m Cymmer oddi wrthif ffordd y celwydd, mEph.5,
ac yn drugarog dod ti i mi dy gyfraith. 25

n 1Bren. 8, 36 30 [n] Dewisais ffordd dy wirionedd: gosodais
Sal. 16, 8 dy farnedigaethau [o'm blaen.]
31. Glynais wrth dy destiolaethau: O Ar-
glwydd na'm gwradwydda.
o 2Cor.6, 11 32 [o] Ffordd dy orchymynnion a redaf, pan
1Bren.4, 29 ehangech fyng-halon.

*He.*

Borenol weddi. 33 [p] DYSC i mi O Arglwydd ffordd dy ddeddf-
p Dat. 2, 15 au, a chadwaf hi [hyd] y diwedd.
Mat. 10, 22 34 Gwna i mi ddeall, a chadwaf dy gyfraith:
ïe cadwaf hi a'm holl galon.
q Mat. 23 8 35 [q] Gwna i mi gerdded yn llwybr dy orchym-
ynnion: canys ynddo y mae fy ewyllys.
r 1Tim.6, 10 36 [r] Gostwng fyng-halon at dy destiolaethau:
ac nid at gybydd-dra.
37 [s] Tro heibio fy llygaid rhag gweled gwag-
s Iob 31,1 Esa 33,15 edd: [a] bywha fi yn dy ffyrdd.
2Sam.11, 2 38 [t] Cyflawna dy air i'th was, fel [yr ymrodd-
t 2Sam 7, 25 wyf] i'th ofn di.
Gal. 3,10 39 Tro heibio fyng-wradwydd yr hwn a ofnais:
canys dy farnedigaethau [ydynt] dda.
u Heb.13, 18 40 [u] Wele awyddus ydwyf i'th orchymynnion:
gwna i mi fyw yn dy gyfiawnder.

*Faw.*

v 1Pedr 1 13 41 [v] DEUED i mi dy drugaredd Arglwydd,
Barn. 13, 12 a'th iechydwriaeth yn ol dy air.
42 Yna'r attebaf i'm cabludd: o herwydd yn
dy air y gobeithiais.
43 Na ddwg dithe air y gwirionedd o'm genau
yn llwyr: o herwydd yn dy farnedigaethau di
y gobeithais.
w Ioan 6, 70 44 [w] A'th gyfraith a gadwaf yn wastadol byth
ac yn dragywydd.
x Sal. 4,1 45 [x] Rhodiaf hefyd mewn ehangder, o her-
wydd dy orchymynnion di a geisiaf.
y Act.26, 1, 2 46 [y] Ac am dy destiolaethau di y llefaraf o
Dan.3,13 flaen brenhinoedd, ac ni'm cywilyddir.
Mat. 10, 18 47 Onid ymddigrifaf yn dy orchymynnion y
rhai a hoffais.
z Tit.1.16 Mat.7,21 48 [z] A'm dwylo a dderchafaf at dy orchymyn-
nion y rhai a gerais, ac mi a fefyriaf yn dy
ddeddfau di.

*Zain.*

a Ecc.36 37 49 [a] COFIA [dy] air i'th was yn yr hwn y
Esa 62, 6 peraist i mi obeitho.
b Rhuf.15 4 50 [b] Dymma fyng-hyssur mewn cystudd, mai
dy air di a'm bywha fi.
c 1Pedr5 5 51 [c] Y beilchion a'm gwatwarasant yn ddir-
fawr: [er hynny] ni throais oddi wrth dy gyf-
raith di.
d Sal 74, 14 52 [d] Cofiais O Arglwydd dy farnedigaethau
er ioed, ac ymgyssurais.
53 Ofn a ddaeth arnaf o blegit yr annuwol-
ion, y rhai sydd yn gadu dy gyfraith di.
e Cron 5, 21 54 [e] Dy ddeddfau oeddynt fyng-hân yn nhŷ
fy mhererindod.

55 [f] Cofiais dy enw Arglwydd liw nos a f Sal 1, 2 a 63, 6
chedwais dy gyfraith.
56 [g] Hyn oedd gennif, am gadw o honof dy g Rhuf 6, 19
orchymynnion di.

*Cheth.*

57 [h] O ARGLWYDD fy rhan [ydwyt,] me- h Galar 3 20
ddyliais gadw dy eiriau.
58 [i] Gweddiais ger dy fron [a'm] holl galon: i Iob 11 9
trugarha wrthif yn ol dy air.
59 [j] Meddyliais am fy ffyrdd, a throais fy j Luc 15 17
nhraed at dy destiolaethau di.
60 [k] Bryssiais, ac nid oedais gadw dy orch- k Gal 1 16
ymynnion.
61 [l] Minteiodd yr annuwolion a'm hyspeilias- l Hos 6 9
ant: [ond] nid anghofiais dy gyfraith di.
62 [m] Hanner nos y cyfodaf i'th foliannu am m Act 16 25
farnedigaethau dy gyfiawnder.
63 [n] Cyfaill [ydwyfi] i'r rhai oll a'th ofnant, ac n Sal 16 3 a 103 13
i'r rhai a gadwant dy orchymynnion.
64 [o] Llawn yw'r ddaiar o'th drugaredd O o Sal 33 5
Arglwydd: dysc i mi dy ddeddfau.

*Teth.*

65 GWNAETHOST yn dda a'th was O Ar-
glwydd yn ol dy air.
66 Dysc i mi iawn ddeall, a gwybodath o her-
wydd yn dy orchymynnion di y credais.
67 [p] Cyn fy narostwng yr oeddwn yn cyfeil- p Ier 31 18 19
iorni: ond yn awr cedwais dy air di. Heb12 10
68 [q] Da [ydwyt,] a daionus, dysc i mi dy Dat 15 19 q Mat 19 17
ddeddfau.
69 [r] Y beilchion a glyttiasant gelwydd i'm r Ier 9 3
herbyn: minne a gadwaf dy orchymynnion a'm
holl galon.
70 [s] Cyn frased a'r bloneg yw eu calon: minne s Eph 4 18
a ymddigrifais [yn] dy gyfraith di. Act 28 27
71 Da yw i mi fy narostwng, fel y dyscwn Iob 15 27
dy ddeddfau.
72 [t] Gwell i mi gyfraith dy enau na miloedd t Diar 8 11 a 19 10
[o ddarnau] aur, ac arian. Prydnawnol weddi.

*Iod.*

73 [u] DY ddwylo a'm gwnaethant, ac a'm llun- u Sal 139 14 15 16
niasant: par i mi ddeall fel y dyscwyf dy orch-
ymynnion.
74 [v] Y rhai a'th ofnant a'm gwelant, ac a law- v Sal 34 5 6
enychant, o blegit gobeithio o honof yn dy air di.
75 [w] Gwn Arglwydd mai cyfiawn [yw] dy farn- w 1Cor 11 13
edigaethau: a chystuddio o honot fi yn ffyddlon. Heb12 10
76 Bydded attolwg dy drugaredd i'm cys- 1 Pedr 4 19
suro yn ol dy air i'th wasanaeth-wr.
77 Deued i mi dy drugareddau, fel y byddwyf
byw: o herwydd dy gyfraith [yw] fy nigrifwch.
78 [x] Cywilyddier y beilchion, canys ar gam x Sal 25 3 a 109 4
i'm plygent [ond] myfi a fefyriaf yn dy orchym-
ynnion di.
79 Troer attafi y rhai a'th ofnant di, a'r rhai
a adwaenant dy destiolaethau.

y Ioan 1, 47 Iob 22, 29 — 80 [y] Bydded fyng-halon yn berffaith yn dy
ddeddfau, fel na'm cywilyddier.

*Caph.*

z Sal 84 2 — 81 [z] DEFFYGIODD fy enaid am dy iechyd-
wriaeth, wrth dy air yr ydwyf yn disgwil.
a Sal 69 3 — 82 [a] Y mae fy llygaid yn pallu [yn edrych] am
dy air, gan ddywedyd, Pa bryd i'm diddeni?
83 Canys ydwyf fel costrel mewn mŵg [ond]
nid anghofiais dy ddeddfau.
b Sal 89 47 — 84 [b] Pa nifer [yw] dyddiau dy was? pa bryd y
Dat 6 10 gwnei farn at y rhai a'm herlidiant?
c Diar 16 27 — 85 [c] Y beilchion a gloddiasant byllau i mi, yr
Sal 35 7 hyn nid yw wrth dy gyfraith di.
86 Dy holl orchymynnion [ydynt] wirionedd,
ar gam i'm herlidiasant, cymmorth fi.
d Mat 6 19 a 10 28 — 87 [d] Braidd na'm difasant fi ar y ddaiar, a
Luc 22 33 minne ni adewais dy orchymynnion.
88 Bywhâ fi yn ol dy drugaredd: fel y cadwyf
destiolaeth dy enau.

*Lamed.*

e 1 Pedr 1 25 — 89 [e] DY air O Arglwydd sydd yn parhau byth
yn y nefoedd.
90 Dy wirionedd [sydd] dros genhedlaeth a
chenhedlaeth, seliaist y ddaiar, a hi a saif.
91 Wrth dy farnedigaethau y safant heddyw:
canys dy weision [ydynt] oll.
f Rhuf 15 — 92 [f] Oni bai [fod] dy ddeddf yn hyfrydwch i
Sam 30 mi, darfuase yna am danaf yn fyng-hystudd.
93 Byth ni anghofiaf dy orchymynnion: canys
â hwynt i'm bywheaist.
Esa 64 8 — 94 [g] Eiddo ti ydwyfi, achub fi O herwydd dy
orchymynnion a geisiais.
Act. 12, — 95 [h] Y rhai annuwiol a ddisgwiliasant am
Pedr 2, danaf i'm difetha, dy destiolaethau di a ystyr-
iaf.
Esa 40,8 — 96 [i] Yr ydwyf yn gweled diwedd ar bob per-
Cor. 13, ffeithrwydd, [ond] dy orchymyn di sydd dra
ol. 3,14 ehang.

*Mem.*

97 MOR gu gennif dy gyfraith di: hi yw fy
myfyrdod beunydd.
Deut. 4, — 98 [j] A'th orchymynnion yr ydwyt yn fyng-
Sam. 18, wneuthur yn ddoethach na'm gelynnion: canys
byth [y maent] gyd â mi.
2 Tim. 15 — 99 [k] Deallais fwy na'm holl athrawon: o her-
ct. 23,3 wydd dy destiolaethau [ydynt] fy myfyrdod i.
ob 32,8 — 100 [l] Deallais yn well na'r henuriaid, am gadw
o honof dy orchymynnion di.
Heb. 12 — 101 [m] Atteliais fy nhraed oddi wrth bob llwybr
Cor. 7,1 drwg, fel y cadwn dy air di.
oan 15, — 102 [n] Ni chiliais oddi wrth dy farnedigaethau,
Cor. 3,5 o herwydd ti a'm dyscaist.
103 Mor felus yw dy eiriau i'm genau: [melus-
ach] na mêl i'm safn.
104 Trwy dy orchymynnion di y pwyllais:
am hynny y caseais bob gau lwybr.

*Nun.*

105 LLUSERN [o] [yw] dy air i'm traed: a — Boreuol weddi.
llewyrch i'm llwybr. — o Diar. 6, 23
106 Tyngais, a chyflawnaf, y cadwn farned- — Iob 19, 8
igaethau dy gyfiawnder.
107 Cystuddiwyd fi yn ddirfawr: bywha fi O
Arglwydd yn ol dy air.
108 [p] Attolwg Arglwydd bydd fodlon i ewyll- — p Lef. 22, 18
yscar offrymmau fyng-enau, a dysc i mi dy — Num. 29, 39
farnedigaethau.
109 [q] [Y mae] fy enaid yn fy llaw yn oestadol: — q Barn. 12 3
er hynny nid anghofiais dy gyfraith. — 1 Sam. 19, 5
110 [r] Y rhai annuwiol a osodasant fagl i mi: — r Sal. 140, 5 a 141, 9
ond ni chyfeiliornais oddi wrth dy orchymyn- — Deut. 33, 4
nion di.
111 Cymmerais dy orchymynnion yn etifedd-
iaeth dros byth: o herwydd llawenydd fyng-
halon ydynt hwy.
112 Gostyngais fyng-halon i wneuthur dy
ddeddfau byth [hyd] y diwedd.

*Samec.*

113 [s] DYCHYMMYGION [ofer] a gaseais, — s Ier. 4, 14
a'th gyfraith di a hoffais i. — 1 Bren. 18 27
114 [t] Fy lloches a'm tarian ydwyt: wrth dy — t Sal. 18, 2 a 32, 7
air y disgwiliais.
115 [u] Ciliwch oddi wrthif rai drygionus: ca- — u Mat. 7, 23
nys cadwaf orchymynnion fy Nuw.
116 [v] Cynnal fi yn ôl dy air, fel y byddwyf byw: — v Rhuf. 5, 5
ac na phâr i mi gywilyddio am fyng-obaith.
117 Cynnal fi, ac iach fyddaf, ac yn dy ddeddf-
au yr ymddigrifaf yn wastadol.
118 Sethraist y rhai oll a gyrwydrent oddi
wrth dy ddeddfau: canys ofer [oedd] eu dichell
hwynt.
119 Gwnaethosti holl annuwolion y tîr ddarfod
[fel] sothach: am hynny'r hoffais dy destiolaethau.
120 [w] Dychrynodd fyng-nhawd rhag dy ofn, — w Hab. 3, 16
ac ofnais rhag dy farnedigaethau.

*Ain.*

121 GWNAETHUM farn, a chyfiawnder: na
ad fi i'm gorthrym-wŷr.
122 [x] Par i'th wâs roddi ei fryd ar ddaioni: — x Heb. 7, 22
[ac] na ad i'r beilchion fyng-orthrymmu.
123 Fy llygaid a ballasant [yn edrych] am dy
iechydwriaeth, ac am dy ymadrodd cyfiawn.
124 [y] Gwna i'th wâs yn ol dy drugaredd: a — y Esa. 28, 19
dysc i mi dy ddeddfau.
125 [z] Dy wâs ydwyfi, pâr i mi ddeall: fel yr — z Esa. 56, 4
adwaenwyf dy destiolaethau.
126 [a] Amser [yw] i'r Arglwydd wneuthur [barn:] — a Dat 14, 15 a 16, 1
torrasant dy gyfraith di. — a 19, 18, 19 20
127 [b] Am hynny'r hoffais dy orchymynnion yn — b 1 Tim. 6, 10, 11, 12
fwy nag aur, ïe nag aur coeth.
128 Am hynny y cyfrifais yn iniawn [dy] orch- — Diar. 8, 11
ymynnion eu gyd oll: [ac] y caseais bob gau — Sal. 19, 11
lwybr.

Pe.

129 RHYFEDD yw dy destiolaethau, am
hynny y cadwodd fy enaid hwynt.
e2Pedr 1, 19 130 [c] Agoriad dy air a rydd oleuni, gan beri
Diar. 1,4 deall i rai annichellgar.
Mat 4,16 dSal 42,1 131 [d] Agorais fyng-enau a dyheais, o blegit
awyddus oeddwn i'th orchymynnion di
132 Edrych arnaf, a thrugarha wrthif yn ol
[dy] arfer i'r rhai a garant dy enw.
e Eph. 5, 133 [e] Cyfarwydda fyng-hamrau wrth dy air,
15 Sal. 19,13 ac na lywodraethed dim anwiredd arnaf.
f Luc 1,74 134 [f] Gwaret fi oddi wrth drawsedd dynnion:
felly y cadwaf dy orchymynnion.
g Sal. 4,6 135 [g] Llewyrcha dy wyneb ar dy was, a dysc
i mi dy ddeddfau.
136 Afonydd o ddyfroedd a ddescynnasant
o'm llygaid, am na chadwasant dy gyfraith di.

*Tsade.*

h Dan. 9, 137 [h] CYFIAWN [ydwyt] ti O Arglwydd, ac
7 iniawn yw dy farnedigaethau.
i 1 Ioan 3, 138 [i] Gorchymynnaist gyfiawnder [yn] dy
23 Mat. 17,5 destiolaethau: a gwirionedd yn ddirfawr.
j Ioan 2,17 139 [j] Fy Zêl a'm difaodd o herwydd i'm gel-
ynnion anghofio dy eiriau di.
k Sal. 12,6 140 [k] Purwyd dy ymadrodd yn ddirfawr: a'th
1 Pedr 2, 2 was ai hoffodd hwynt.
141 Bychan [ydwyfi,] a dirmygus, [ond] nid
anghofiais dy orchymynnion.
l Ioan 17, 142 [l] Dy gyfiawnder [fydd] gyfiawnder byth:
17 1 Sam. a'th gyfraith [sydd] wirionedd.
15, 25 143 Adfyd a chystudd a'm goddiweddasant:
a'th orchymynnion [oeddynt] fy nigrifwch.
m Diar. 144 [m] Cyfiawnder dy destiolaethau [a bery] yn
10 28 Eph. 4,18 dragywydd: gwna i mi ddeall, a byw fyddaf.

*Coph.*

Pryd-nawnol weddi. 145 LLEFAIS a'm holl galon, clyw fi O
Arglwydd, dy ddeddfau di a gadwaf.
146 Llefais arnat, achub fi: a chadwaf dy
destiolaethau.
n Sal. 88, 147 [n] Achubais flaen y cyfddydd, a gwaedd-
13 a 95, 2 ais, wrth dy air y disgwyliais.
o Sal. 90,3 148 [o] Fy llygaid a achubasant flaen gwiliad-
a 130, 6 wriaethau y [nos] i fyfyrio yn dy air di.
p Eph. 3, 149 [p] Clyw fy llef yn ol dy drugaredd, Ar-
5 Ioan 5,21 glwydd bywha fi yn ol dy farnedigaethau.
1 Tim. 6, 13 150 [q] Y rhai a ddilynant scelerder a nessasant
q Iob 21, [arnaf:] ac a ymbellhasant oddiwrth dy gyfraith
13 r Sal. 145, di.
18 151 [r] Tithe Arglwydd [bydd] agos: canys dy
s Luc 21, holl orchymynnion [ydynt] wirionedd.
33 152 [s] Er ystalm y gwyddwn am dy destiolaeth-
au, selio o honot hwynt yn dragywydd.
t Galar. 5 1

*Resh.*

153 [t] GWEL fyng-bystudd, a gwaret fi, canys
nid anghofiais dy air di.
154 Dadle fy nadl, a rhyddha fi: bywha fi o
herwydd dy air. u Tit. 1,16 Sal. 14,1
155 [u] Pell [yw] iechydwriaeth oddi wrth y
rhai annuwiol: o herwydd na cheisiasant dy
ddeddfau di.
156 Dy drugareddau Arglwydd [ydynt] aml:
bywha fi yn ol dy farnedigaethau.
157 Llawer sydd yn fy erlid, ac yn fyngwrth-
wynebu: er [hynny] ni throais oddi wrth dy
destiolaethau.
158 Gwelais y trosedd-wyr, a gressynais am
na chadwent dy air di.
259 Gwel hoffi o honof dy orchymynnion di:
Arglwydd bywha fi'n ol dy drugaredd. † Heb. dechreuad dy air
160 † Gwirionedd [yw] dechreuad dy air: a'th sy wirionedd.
holl gyfiawn farn [a bery] yn dragywydd. Tit 1, 2

*Schin.*

161 [v] TYWYSOGION a'm herlidiasant heb v 1 Sam. 24, 25 Esa. 8,13
achos, er hynny fyng-halon agryne rhag dy air di.
162 Llawen ydwyfi o blegit dy air, fel [un]
yn cael sclyfaeth lawer.
163 Celwydd a gaseais, ac a ffieiddiais: a'th
gyfraith di a hoffais. w Dan. 24, 16
164 [w] Seith-waith yn y dydd yr ydwyf yn dy a 26, 25
glodfori: o herwydd dy gyfiawn farnedigaethau. x Esa. 32, 17
165 [x] Heddwch mawr [fydd] i'r rhai a garant
dy gyfraith: ac nid [oes] dramgwydd iddynt. a 1 Ioan 5, 3
166 [a] Disgwiliais wrth dy iechydwriaeth di O
Arglwydd: a gwneuthum dy orchymynnion. b Rhuf 7, 22
167 [b] Fy enaid a gadwodd dy destiolaethau:
a hoff iawn gennif hwynt.
168 Cedwais dy orchymynnion a'th destiol-
aethau: am [fod] fy holl ffyrdd ger dy fron di.

*Taw.*

c Iago 5, 16
169 [c] NESSAED fyng-waedd o'th flaen Ar- Luc 11,8
glwydd: gwna i mi ddeall yn ol dy air.
170 Deued fyng-weddi ger dy fron: gwaret
fi yn ol dy ymadrodd. d Sal. 51, 25 a 73, 8
171 [d] Fyng-wefusau a draethant [dy] foliant:
pan ddyscech i mi dy ddeddfau.
172 Fy nhafod a ddatgan dy air: o herwydd
dy holl orchymynnion [ydynt] gyfiawnder. e Ios. 24, 22
173 [e] Bydded dy law i'm cynnorthwyo: o Luc 10,42
herwydd dy orchymynnion di a ddewisais.
174 Awyddus ydwyf O Arglwydd i'th iech-
ydwriaeth: a'th gyfraith [yw] fy hyfrydwch.
175 Bydded byw fy enaid fel i'th foliannu di:
a chynnorthwyed dy farnedigaethau fi. f Esa. 53, 6
176 [f] Cyfeiliornais fel oen wedi colli: cais dy Ioan 10,3
was, o blegit nid anghofiais dy orchymynnion. Luc 15,5

## PSALM CXX.

*Caniad y Graddau.*

AR [g] yr Arglwydd y gelwais yn fyng-hyf- Boreuol weddi.
yngder: ac efe a'm gwrandawodd i. g Luc 2, 44
2 Arglwydd gwaret fy enaid oddiwrth wefus- Heb. 5,7
au celwyddoc, [ac] oddiwrth dafod twyllodrus.
3 [h] Beth a rydd [dy] dafod twyllodrus i ti? h Sal. 52,5

neu pa beth a chwanega efe arnat?
4 [Geiriau fel] llymmion saethau cawr yng-
hŷd a marwor meryw.
Gen. 10, 5 [i] Gwae fi bressawylio o honof[ym] Mesech:
a 25, 13 a chyfanneddu o honof ym mhebyll Cedar.
Pedr 2, 6 [j] Rhyhir y trigodd fy enaid gyd â'r hwn oedd
yn casâu tangneddyf.
Eph. 2, 7 [k] Heddychol ydwyf, ond pan ddywedwyf
[am hedd,] hwynt [a godant] i ryfel.

## PSALM CXXI.

*Caniad y Graddau.*

Heb. 9, DERCHAFAF [l] fy llygaid i'r mynydd-
oedd o'r lle y daw fyng-hymmorth i.
Sal.124 2 [m] Fyng-hymmorth [a ddaw] oddi wrth yr
Arglwydd, yr hwn a wnaeth nefoedd a daiar.
1Sam. 2 3 [o] Ni âd efe i'th droed lithro, ac ni huna dy
geidwad.
Esa. 27, 4 [o] Wele ni huna, ac ni chwsc ceidwad Israel.
ec. 4, 10 5 Yr Arglwydd [yw] dy geidwad, yr Ar-
glwydd [yw] dy gyscod ar dy ddeheu-law.
6 Ni'th deru'r haul y dydd, na'r lleuad y nos.
Dat. 21, 7 [p] Yr Arglwydd a'th geidw rhag pob drwg:
efe a geidw dy enaid.
Deut. 6 8 [q] Yr Arglwydd a geidw dy fynediad, a'th
Iar. 3, 6 ddyfodiad o'r pryd hyn, hyd yn dragywydd.

## PSALM CXXII.

*Caniad y Graddau o'r eiddo Dafydd.*

Zec. 2, LLAWENYCHAIS [r] pan ddywedent wrth-
a. 2, 3 if, Awn i dŷ'r Arglwydd.
Dat. 3, 2 [s] Ein traed ni a safant o fewn dy byrth di O
Ierusalem.
Eph. 2, 3 [t] Ierusalem a adailadwyd fel dinas yn cyd-
tuno ynddi ei hun.
x. 23, 4 [u] Canys yno'r escynnodd y llwythau, [sef]
llwythau'r Arglwydd, yn destiolaeth i Israel, i
foliannu enw'r Arglwydd.
Cron. 8 5 [v] Canys yno y gosodwyd gorsedd-feingciau
barn: [sef] gorsedd-feingciau tŷ Dafydd.
6 Dymunwch heddwch Ierusalem: llwydd-
ed y rhai a'th hoffant.
Esa. 2, 4 7 [w] Heddwch fyddo o fewn dy ragfur: [a]
ffynniant yn dy balassau.
Heb. 2, 8 [x] Er mwyn fy mrodyr a'm cyfeillion y dy-
1. 119, wedaf yn awr, Llwyddiant [fyddo] i ti.
9 Er mwyn tŷ'r Arglwydd ein Duw y ceisiaf
i ti ddaioni.

## PSALM CXXIII.

*Caniad y Graddau.*

Sal. 25, 1 ATAT [y] ti y derchefais fy llygaid, yr hwn a
Dat. 6, 9 bresswyli yn y nefoedd.
Luc 18, 1 2 [z] Wele fel [y mae] llygaid gweision ar law eu
Gen. 32, meistred, [neu] fel [y mae] llygaid llawforwynion
Sal. 55, 17 ar law eu meistres: felly [y mae] ein llygaid ni
ar yr Arglwydd ein Duw, hyd oni thrugarhao
efe wrthym ni.
Iago 5, 3 [a] Trugarhâ wrthym Arglwydd, trugarhâ
wrthym, canys llanwyd ni â dirmyg yn ddirfawr.
4 [b] Yn ddirfawr y llanwyd ein henaid â gwat b Luc 16, 14
wargerdd y rhai goludog, [ac] â diystyrwch y Neh. 4, 2
beilchion. 2 Sam. 6, 20

## PSALM CXXIV.

*Caniad y Graddau o'r eiddo Dafydd.*

DYWEDED [c] Israel yr awr hon, Oni bu- c Heb. 2, 20
ase i'r Arglwydd fod gydâ ni:
2 [d] Oni buase'r Arglwydd gydâ ni pan gyf- d Dat. 12, 17
ododd dynion yn ein herbyn ni,
3 Yna ein llyngcasant ni yn fyw, pan enyn-
nodd eu llid hwynt i'n herbyn.
4 [e] Yna y dyfroedd a'n boddasent ni: afon a e Dat. 17, 15
aethe tros ein henaid.
5 [f] Yna'r aethe tros ein henaid ddyfroedd f Iob 38, 11
chwyddedig:
6 [g] Bendigedic yw'r Arglwydd, yr hwn ni g Dat. 18, 20
roddodd ni yn sclyfaeth iw dannedd hwynt.
7 [h] Ein henaid a ddiangodd fel aderyn o h Sal. 91, 3
faglau'r adarwyr: y fagl a dorrwyd, a ninneu
a ddianghasom:
8 [i] Ein porth ni sydd yn enw'r Arglwydd, yr i 2 Cor. 1, 10
hwn a wnaeth nefoedd a daiar. Rhuf. 5, 4, 5

## PSALM CXXV. 1 Pedr 4, 19

*Caniad y Graddau.*

YRHAI [j] a ymddyriedant yn yr Arglwydd j Mat. 16, 18
[fyddant] fel mynydd Sion: [yr hwn] ni
syfl, ond a beru yn dragywydd.
2 [k] Fel [y mae] Ierusalem [a'r] mynyddoedd k Zec. 2, 5
oi hamgylch: felly [y mae]'r Arglwydd o am-
gylch ei bobl o'r pryd hyn hyd yn dragywydd.
3 [l] Ni orphwys gwialen annuwioldeb ar etif l Dat. 2, 10
eddiaeth y rhai cyfiawn: rhag i'r rhai cyfiawn 1 Pedr 5, 8
estyn eu dwylo at anwiredd. 1 Cor. 10, 13
4 [m] Oh Arglwydd gwna ddaioni i'r rhai da- m Rhuf. 8, 28
ionus: ac i'r rhai iniawn yn eu calonnau. Sal 73, 1
5 [n] Ond y rhai a ymdroant [yn] eu trofeudd n 2 Tim. 4, 10
yr Arglwydd ai gyrr gyd â gweithred-wyr an- Act. 8, 19
wiredd, [a bydd] tangneddyf ar Israel. 2 Thes. 2, 11

## PSALM CXXVI.

*Caniad y Graddau.* Prydnawnol weddi.

PAN [o] ddychwelodd yr Arglwydd gaeth- o Sal 19, 20
iwed Sion, yr oeddent fel rhai yn breudd- Act. 12 9
wydio.
2 [p] Yna y llawnwyd ein genau â chwerthin, a'n p Dat. 13, 3
tafod â gorfoledd: yna y dywedasant ym mysc Mal. 3, 18
y cenhedloedd, Yr Arglwydd a wnaeth bethau
mawrion i'r rhai hyn.
3 [q] Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawr- q Dat. 19, 18
ion, [am hynny]'r oeddem yn llawen. Dat. 18, 20
4 [r] Dychwel Arglwydd ein caethiwed ni, fel r Hos. 1, 11
yr afonydd yn y dehau.
5 [s] Y rhai ydynt yn hau mewn dagrau, a fedant s Sal. 137, 1
mewn gorfoledd. Gal. 6 9
6 [t] [Yr hwn] sydd yn myned rhagddo, ac yn t Ier. 50, 45
wylo gan ddwyn hâd gwerthfawr, gan ddyfod 1 Cron 15, 58

a ddaw mewn gorfoledd, dann gludo ei yscubau.

## PSALM CXXVII.

*Caniad y Graddau i Solomon.*

u 1Cor 3 6, 7 Preg9 11 Ier 5 10 OS [u] yr Arglwydd nid adailada y tŷ, ofer y
llafuria ei adailad-wyr wrtho: os yr Ar-
glwydd ni cheidw'r ddinas, ofer y gwilia y
ceidwad.
v Gen3 19 Diar 10 20 2 [v] Ofer i chwi foreu-godi, orwedd yn hwyr,
[a] bwytta bara gofidus: felly y rhydd efe hûn
iw annwylyd.
w Gen 33 5 Num 18 31 3 [w] Wele plant [ydynt] yn etifeddiaeth yr Ar-
glwydd, ei obr [ef yw] ffrwyth y groth.
x 1 Ioan 2 14 4 [x] Fel [y mae] saethau yn llaw cadarn, felly
y [mae] plant ieuengctid.
y Diar 27 11 Iob 5 4 5 [y] Gwyn ei fyd y gŵr yr hwn a lanwodd ei
gawell saethau â hwynt: ni's gwradwyddir hwy
pan ymddiddanant a'r gelynnion yn y porth.

## PSALM CXXVIII.

*Caniad y Graddau.*

z Gal3 28 Sal 119 1 GWYN [z] ei fyd pob un y sydd yn ofni 'r
Arglwydd: [sef] yr hwn sydd yn
rhodio yn ei ffyrdd ef.
a Gen3 19 Esa 3 10 2 [a] Canys mwynhei lafur dy ddwylo: gwyn
dy fyd, a da yw it.
b Ezec 19 10 Sal 52 9 3 [b] Dy wraig fydd fel gwinwydden ffrwyth-
lawn ar hyd ystlysau dy dŷ: a'th blant fel
planhigion oliwydd o amgylch dy ford.
4 Wele fel hyn yn ddiau y bendithir y gwr a
ofno 'r Arglwydd.
c Eph 1 3 Sal 27 4 5 [c] Yr Arglwydd a'th fendithia o Sïon, fel y
gwelech Ierusalem mewn llwyddiant holl
ddyddiau dy einioes.
d Iob 42 16 6 [d] Ac y gwelech blant dy blant, [a] thangne-
ddyf ar Israel.

## PSALM CXXIX.

*Caniad y Graddau.*

e Ezec 23 3 LLAWER [e] gwaith i'm cystuddiasant o'm
hieuengctid, (y dichon Israel ddywedyd
yn awr.)
f Mat 16 18 2 [f] Llawer gwaith i'm cystuddiasant o'm hieu-
engctid, etto ni'm gorfuant.
g Iob 4 8 Esa 51 23 3 [g] Yr arddwyr a arddasant ar fyng-hefn, [ac]
a estynnasant eu cwysau yn hirion.
h 1Thes 1 6, 7 Esa 5 18 4 [h] Yr Arglwydd cyfiawn a dorrodd raffau y
rhai annuwiol.
i Esa 37 37 Ester7 10 5 [i] Y rhai a gasânt Sïon gwradwydder hwy
oll, a chiliant yn ol.
j Sal 57 2 a 73 19 6 [j] Byddant fel glas-wellt penn tai, yr hwn a
wywa cynn y tynner ef ymmaith.
7 A'r hwn ni leinw y pladur-wr ei law: na'r
hwn fyddo yn rhwymo yr ysgubau ei fonwes.
k Sal 118 26 8 [k] Fel na ddywed y rhai a ant heibio, Ben-
dith yr Arglwydd arnoch: bendithiwn chwi
yn enw 'r Arglwydd.

## PSALM CXXX.

*Caniad y Graddau*

O'R dyfnder y gelwais arnat O Arglwydd.
2 Arglwydd clyw fy llefain, ystyried dy
glustiau wrth leferydd fyng-weddiau.
3 [l] Os creffi ar anwireddau Arglwydd: O Ar- l Sal 143, 2 Rhuf3 23
glwydd pwy a saif?
4 [m] Onid [y mae] gennit ti faddeuant fel i'th m Ioan 1, 17 Luc 1,74
ofner.
5 [n] Disgwiliais yr Arglwydd, disgwiliodd fy n Esa 26,8 Sal. 119, 81
enaid [ef,] ac yn ei air ef y gobeithiais.
6 Fy enaid [sydd] yn disgwil am yr Ar-
glwydd yn fwy nag y mae y boreu wil-wyr yn
gwilied am y boreu.
7 [o] Disgwilied Israel am yr Arglwydd o her- o Esa 55, 7
wydd [y mae] trugaredd gyd a'r Arglwydd, ac Sal 86, 5
aml ymwared ganddo.
8 Ac efe a wareda Israel oddi wrth ei holl an-
wiredd.

## PSALM CXXXI.

*Caniad y Graddau, o'r eiddo Dafydd.*

O ARGLWYDD [p] nid ymchwyddodd fyng- p Deut17 20
halon, ac nid ymdderchafodd fy llygaid. Diar 16,5
2 Ni rodiais ychwaith mewn pethau rhy fawr, Iob 41 3 Deut 29 29
a rhy ryfedd i mi.
3 [q] Eithr gosodais, a gostegais fy enaid fel un q 1Cor 14 20
wedi ei ddiddyfnu oddi wrth ei fam; fy enaid
sydd ynof fel un wedi ei ddiddyfnu.
4 Disgwilied Israel wrth yr Arglwydd o'r
pryd hyn hyd yn dragywydd.

## PSALM CXXXII.

*Caniad y Graddau.*

O ARGLWYDD [r] cofia Ddafydd ai holl Borenol weddi. r Neh 13, 22
flinder.
2 [s] Y modd y tyngodd efe wrth yr Arglwydd, 1Cron 15 1 2 5
[ac] yr addunodd i rymmus [Dduw] Iacob, [gan s Sal 119 106
ddywedyd:]
3 [t] Nid âf i fewn pabell fy nhŷ, ni ddringaf ar t Hag 1 4 2Sam 5 ?
erchwyn fyng-wely,
4 Ni roddaf gwsc i'm llygaid, na hun i'm am-
rantau:
5 [u] Hyd oni chaffwyf le i'r Arglwydd: [sef] u Act7 46 Num 10 35
presswylfod i rymmus [Dduw] Iacob.
6 [v] Wele clywsom am dani yn Ephrata: caw- v Baru.13 31
som hi ym meusydd y coed. 1Sam6 21
7 Awn i'w bebyll ef, ymgrymmwn o flaen ei
faingc draed ef.
8 [w] Cyfod Arglwydd i'th orphwysfa, ti ag Arch w Num10 35
dy gadernid. Heb10 11
9 [x] Gwisced dy offeiriaid gyfiawnder: a gor- x Dat1 15
foledded dy sainct.
10 Er mwyn Dafydd dy wâs na wrthot wyneb
dy eneiniog.
11 [y] Tyngodd yr Arglwydd wirionedd i Dda- y Luc1 69
fydd, ni thrŷ efe oddi wrth hynny: o ffrwyth dy
groth y gosodaf ar dy orsedd-faingc.
12 [z] Os ceidw dy feibion fyng-hyfammod z Luc 1 32
a'm testiolaeth: eu meibion hwythau yn dra-

gywydd a eisteddant ar dy orsedd-faingc.
aSal 49 1 13 a Canys dewisodd yr Arglwydd Sïon, [ac
Sal 68 16 ai] dymunodd yn drigfa iddo ei hun [gan ddy-
wedyd,]
bDat 11 3 14 b Dyma fyng-orphywysfa yn dragywydd:
ymma y trigaf canys chwennychais hi.
15 Gan fendithio y bendithiaf ei llynniaeth,
[ac] mi a ddiwallaf ei thlodion â bara.
c1Tim. 4 16 c Ei hoffeiriaid hefyd a wiscaf ag iechyd-
16 wriaeth: ai sainct dann ganu a ganant.
d Luc 1, 17 d Yna y parafi gorn Dafydd flaguro: [canys]
69 dàrperais lusern i'm heneiniog.
eDat. 19, 18 e Ei elynnion ef a wiscafi â chywilydd, arno
17 a 19,12 yntef y blodeua ei goron.

## PSALM CXXXIII.

*Caniad y graddau o'r eiddo Dafydd.*

fHeb.13, 1 WELE f mor ddaionus, ac mor hyfryd
Eph. 4, 3 [yw] trigo o frodyr yng-hyd.
1 Cor. 1, 10 2 g [Y mae] fel olew gwerthfawr ar y penn yn
gEx. 30, 26, 30 descyn ar hŷd y farf, sef barf Aaron: yr hwn
a 39, 23 [oedd] yn descyn ar hyd ymyl ei wiscoedd ef.
hSal. 42, 8 3 h [Ac] fel gwlith Hermon yr hwn sydd yn
Deut.28, 8 descyn ar fynydd Sïon: canys yno y gorchym-
ynnodd yr Arglwydd y fendith [a'r] bywyd yn
dragywydd.

## PSALM CXXXIV.

*Caniad y Gruddau.*

iLef.8,35 WELE i holl weision yr Arglwydd ben-
dithiwch yr Arglwydd: y rhai ydych
yn sefyll yn nhŷ'r Arglwydd y nôs [sef yng-
hynteddoedd tŷ yr Arglwydd.]
j1Tim.2, 8 2 j Derchefwch eich dwylo [tu] a'r cyssegr: a
bendithiwch yr Arglwydd.
kEph. 1, 3 3 k Yr Arglwydd yr hwn a wnaeth y nefoedd,
Num. 6, 24 a daiar a'th fendithio di o Sïon.

## PSALM CXXXV.

*Molwch yr Arglwydd.*

lSal. 115, 1 MOLWCH l enw'r Arglwydd gweision yr
Arglwydd molwch [ef.]
m2Cron. 4, 9 2 m Y rhai ydych yn sefyll yn nhŷ'r Arglwydd
yng-hynteddoedd tŷ ein Duw ni.
nSal.119, 68 3 n Molwch yr Arglwydd canys da [yw]'r Ar-
Sal.147,1 glwydd: cenwch iw enw canys hyfryd yw.
oTit. 2,14 4 o O blegit yr Arglwydd a ddetholodd Iacob,
[ac] Israel yn bobl unic iddo ef.
p1Tim. 6 5 p Canys mi a wn mai mawr yw'r Arglwydd,
a [bod] ein Harglwydd ni goruwch yr holl
dduwiau.
qEsa. 46, 10 6 q Yr Arglwydd a wnaeth yr hyn holl a fynne
yn y nefoedd, ac yn y ddaiar, yn y môr, ac yn
yr holl ddyfnderau.
rIer. 10, 13 7 r Y mae yn codi mwgdarth o eithafoedd y
Iob 38, 22 ddaiar, mellt a wnaeth efe yng-hyd a'r glaw:
gan ddwyn y gwynt allan oi dryssorau.
sEx. 12, 29 8 s Yr hwn a darawodd holl gyntaf-anedic yr
Aipht, yn ddyn ac yn anifail.
RHIF. xiii.

9 t Danfonodd arwyddion a rhyfeddodau i'th tEx.7, 8, 9
ganol di'r Aipht, ar Pharao, ac ar ei holl weision.
10 u Yr hwn a darawodd genhedloedd lawer, uNum.21 25
ac a laddodd frenhinoedd cryfion:
11 v Sehon brenin yr Amoriaid: ac Og brenin vIos.12,9
Basan: a holl frenhiniaethau Canaan.
12 w Ac a roddodd eu tir hwynt yn etifedd- wDeu.3, 22
iaeth, [sef] yn etifeddiaeth i Israel ei bobl. Ios 12, 2
13 x Dy enw O Arglwydd [a beru] yn dragyw- xEx. 3,15
ydd: dy goffadwriaeth O Arglwydd [a fydd] o
genhedlaeth i genhedlaeth.
14 y Canys yr Arglwydd a farna ei bobl, ac a y Deut.
dosturia wrth ei weision. 32, 36
15 z Delwau y cenhedloedd [ydynt] arian ac zSal.115,
aur, gwaith dwylo dyn. 4, 5, 6 Rhuf. 1, 23
16 a Genau [sydd] iddynt, ac ni lefarant: lly- Esa. 40,
gaid [sydd] ganddynt, ac ni welant. 20
17 [Y mae] clustiau iddynt, ac ni chlywant: Dan. 5, 23
nid oes chwaith anadl yn eu genau. aEsa. 41, 7, 23
18 b Fel hwynt y mae y rhai a'u gwnelont, a Ier. 10, 5
phob un a ymddyriedo ynddynt. bIona 2,8
19 Tŷ Israel bendithiwch yr Arglwydd: ben-
dithiwch yr Arglwydd tŷ Aaron.
20 Tŷ Lefi bendithiwch yr Arglwydd: y rhai
a ofnwch yr Arglwydd bendithiwch yr Ar-
glwydd.
21 Bendithier yr Arglwydd o Sïon, yr hwn
sydd yn trigo yn Ierusalem. † Molwch yr Ar- † Heb. Haleluia
glwydd. Dat. 19,1

## PSALM CXXXVI.

CLODFORWCH c yr Arglwydd canys da Pryd-nawnol
[yw,] o herwydd ei drugaredd [sydd] yn weddi.
dragywydd. c1 Cron. 16, 41
2 d Clodforwch Dduw'r duwiau: o blegit ei 2Cron.20 21
drugaredd [sydd] yn dragywydd. d Deut. 10,17
3 e Clodforwch Arglwydd yr arglwyddi: o eDat. 19, 16
herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
4 f Yr hwn yn unic sydd yn gwneuthur rhy- f Esa.44, 24 a 63, 5
feddodau: canys ei drugaredd [sydd] yn dra-
gywydd.
5 g Yr hwn a wnaeth y nefoedd mewn doethin- gSal.104, 24
eb: o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dra- Heb. 11, 10
gywydd.
6 h Yr hwn a estynnodd y ddaiar ar y dyfroedd: hGen. 1, 9
o blegit ei drugaredd [sydd] yn dragywydd. Ier. 10,12
7 i Yr hwn a wnaeth oleuadau mawrion: canys i Gen. 1, 14, 26
ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
8 Yr haul i lywodraethu'r dydd: canys ei
drugaredd [sydd] yn dragywydd.
9 Y lleuad, a'r sêr i lywodraethu'r nos: canys
ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
10 j Yr hwn a darawodd yr Aipht, ai chyntaf- jEx.12,29
anedic: o herwydd ei drugaredd [sydd] yn
dragywydd.
11 k Ac a ddug Israel oi mysc hwynt: o her- k Ex. 13, 17
wydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.

l Ex. 12, 6 12 l A llaw gref, ac â braich estynnedig: o
herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
m Ex. 14, 21, 22 13 m Yr hwn a rannodd y môr côch yn ddau: o
herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
14 Ac a wnaeth i Israel fyned trwy ei ganol:
o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
n Ex. 14, 27 15 n Ac a escyttiodd Pharao ai lû yn y môr
côch: o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dra-
gywydd.
o Ex. 15, 22 16 o Ac a dywysodd ei bobl drwy'r anialwch:
o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
p Sal. 135, 10, 11 17 p Yr hwn a darawodd frenhinoedd mawr-
ion: o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dra-
gywydd.
q Deut. 29, 7 18 q Ac a laddodd frenhinoedd ardderchog: o
herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
r Num. 21, 24 19 r Sehon brenin yr Amoriaid: o herwydd ei
drugaredd [sydd] yn dragywydd.
s Num. 21, 33 20 s Ac Og brenin Basan: o herwydd ei dru-
garedd [sydd] yn dragywydd.
t Sal. 135, 12 21 t Ac a roddodd eu tir hwynt yn etifeddiaeth:
o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
u Ex. 4, 22 22 u Yn etifeddiaeth i Israel ei was: o her-
wydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
v Sal. 113, 7 Deut. 32, 36 23 v Yr hwn yn ein cystudd a'n cofiodd ni: o
herwydd ei drugaredd [sydd] yn dragywydd.
w Luc 1, 74 24 w Ac a'n hachubodd ni oddi wrth ein gelyn-
nion: o herwydd ei drugaredd [sydd] yn dra-
gywydd.
x Mat. 6, 26 Sal. 104, 27 25 x Yr hwn sydd yn rhoddi ymborth i bob
cnawd: canys ei drugaredd [sydd] yn dragyw-
ydd.
26 Clodforwch Dduw'r nefoedd: canys ei
drugaredd [sydd] yn dragywydd.
27 *Clodforwch Arglwydd yr arglwyddi: o
herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd.*

## PSALM CXXXVII.

y Gen. 10, 9 Sal. 42, 4 WRTH y afonydd Babilon yr eisteddasom,
ac yno'r wylasom pan feddyliasom am
Sïon.
z Dat. 14, 2 2 z Ar yr helyg oi mewn y crogasom ein
telynau.
a Ier. 9, 11 3 a Yna pan ofynnodd y rhai a'n caethiwasent
i nigân a llawenydd yn ein griddfan [gan] ddyw-
edyd, Cenwch i ni [rai] o ganiadau Sïon:
b Amos 8, 3 4 b Pa fodd [eb ni] y canwn gerdd yr Arglwydd
mewn gwlad ddieithr?
5 Os anghofiaf di Ierusalem, anghofied fy
neheu-law [ganu.]
c Ex. 5, 26 Neh. 2, 3 6 c Glyned fy nhafod wrth daflod fyng-enau
oni chofiaf di: oni chodaf Ierusalem yn benn
d Obad. 11, 12 llawenydd i mi.
Sal. 57, 13 Ezec. 7, 12 7 d Cofia Arglwydd blant Edom yn nydd Ieru-
Esa 13. 13 salem: y rhai a ddywedent, Dinoethwch di-
e Dat. 18, 6 noethwch hi hyd ei sylfaen.
Ier. 50, 29 8 e Oh anrhaithiedic ferch Babilon, gwyn ei
fyd a dalo i ti fel y telaist i ninnau.
9 f Gwyn ei fyd, a gymmero, ac a darawo dy f Esa. 13, 16
blant wrth y meini.

## PSALM CXXXVIII.

*Psalm Dafydd.*

CLODFORAF g di a'm holl galon: yng- g 1 Cor. 11, 10
wydd y duwiau y canaf it.
2 h Ymgrymmaf tu a'th deml sanctaidd: a h Ioan 4, 21
chlodforaf dy enw am dy drugaredd a'th wir i Bren. 8, 29
ionedd: o blegit ti a fawrheaist dy enw [a'th] air Esa. 42, 21
uwchlaw pob [dim.]
3 i Y dydd y gelwais [arnat] i'm gwrandew- i Phil. 4, 19
aist: [a] chadarnheaist nerth yn fy enaid.
4 j Holl frenhinoedd y ddaiar a'th clodforant j Dat. 21, 24
di O Arglwydd: canys clywsant eiriau dy enau. Sal. 72, 11
5 k Canant hefyd am ffyrdd yr Arglwydd: k Sal. 45, 11
canys mawr yw gogoniant yr Arglwydd. Hos. 3, 11
6 l O herwydd uchel yw'r Arglwydd, ac efe a l Sal. 3, 15
edrych ar yr issel, a'r balch a edwyn efe o Diar. 3, 34
hirbell.
7 m Pe rhodiwn yng-hanol cyfyngder, ti a'm m Sal. 23, 3 a 3, 7
bywhaait: estynnit dy law yn erbyn digofaint
fyng-elynnion; a'th ddeheulaw a'm hachube.
8 n Yr Arglwydd a gyflawna [ei drugaredd] â n Phil. 1, 6
mi: dy drugaredd Arglwydd [sydd] yn dra- Iob 10, 8
gywydd; nac esceulusa waith dy ddwylo.

## PSALM CXXXIX.

*At y Pen-cerdd Psalm Dafydd.*

ARGLWYDD o chwiliaist, ac adnabuost fi. Boreuol weddi.
2 p Ti a adwaenost fy eisteddiad, a'm o Sal. 7, 9 Ier. 12, 3
cyfodiad: dealli fy meddwl ym mhell o'r blaen. p Ioan 2, 24
3 Amgylchynaist fy llwybr a'm gorweddfa:
ac yspys wyt yn fy holl ffyrdd.
4 q Canys nid [oes] air ar fy nhafod, ond wele q Heb. 4, 13
Arglwydd ti ai gwyddost oll.
5 r Lluniaist fi yn ol, ac ym mlaen; a gosodaist r 1 Sam. 23, 9
dy law arnaf. Iob 41, 1
6 s [Dymma] wybodaeth ry ddirgel i mi: uchel s Sal. 131, 1
yw, ni fedraf oddi wrthi.
7 t I ba le'r âf oddi wrth dy yspryd? ac i ba t Diar. 15, 3
le y ffoaf o'th wydd?
8 u Os dringaf i'r nefoedd yno y [byddi] di: os u Amos 9, 2, 3
gorweddaf yn uffern, wele di [yno.] Iob 26, 6
9 v Yno pe cymmerwn adenydd y wawr [a] a 16, 6 Diar. 15, 11
phe trigwn yn eithafoedd y môr: v Esa. 24, 16
10 Yno hefyd i'm tywyse dy law, ac i'm cyn-
halie dy ddeheu-law.
11 w Pe dywedwn, Etto tywyllwch a'm cuddia: w Iob 6
yna [y bydde] y nos yn oleuni o'm hamgylch.
12 x Ni thywylla y tywyllwch rhagot ti, ond x Ier. 24
y nos a oleua fel y dydd: un ffunyd [fydd] Iob 34,
tywyllwch a goleuni [i ti.]
13 y Canys ti a feddiannaist fy arennau, toaist y Iob 10, 11
fi yng-hroth fy mam.
14 z Clodforaf dydi canys ofnadwy, a rhyfedd z Gen. 1, 26
i'm gwnaed: rhyfedd [yw] dy weithredoedd, Preg. 11, 5

a'm henaid a ŵyr [hynny] yn dda.
aGen.2,7 15 [a] Ni chuddiwyd fy escyrn oddi wrthit, er
fyng-wneuthur yn ddirgel, a'm llunio yn issel-
der yn ddaiar.
b Iob 10, 16 [b] Dy lygaid a welsant fy annelwig ddef-
10 Mal. 3,16 nydd ac yn dy lyfr di yr scrifennwyd hwynt oll
Rhuf. 4, 17 y dydd y lluniwyd hwynt, pan nad oedd yr un
o honynt.
c Iob 26, 14 17 [c] Am hynny mor werth-fawr yw dy gyng-
horau gennif O Dduw? mor fawr yw eu swm
hwynt?
d Sal. 17, 15 18 [d] [Pe] cyfrifwn hwynt, amlach fyddent na'r
tywod: [pan] ddeffroiwyf, gyd â thi'r [ydwyfi]
yn wastad.
eDat 14, 0 19 [e] O Dduw na leddit yr annuwiol, a'r gwŷr
Jen. 9, 6 gwaedlyd, [wrth y rhai a dywedais] Ciliwch
oddi wrthif.
Indas 15 20 [f] Y rhai a ddywedant scelerder am danat,
al. 15, 3 dy elynnion a gymmerasant [dy enw] yn ofer.
Dat. 2.2 21 [g] Onid câs gennif O Arglwydd dy gaseion
Cron. 19 di? a ffiaidd gennif y rhai a gyfodant i'th erbyn?
22 A chas cyflawn y casheais hwynt: [fel pe]
byddent i mi yn elynnion.
Sal. 26, 2 23 [h] Chwilia fi O Dduw, a gwybydd fyng-
halon: prawf fi, a gwybydd fy meddyliau.
Diar. 15, 24 [i] A gwel, a oes ffordd annuwiol gennif: a
al. 7, 3 thywŷs fi yn ffordd tragywyddoldeb.

## PSALM CXL.

*At y Pen-cerdd, Psalm Dafydd.*

Sal. 17, 6 GWARET [j] fi O Arglwydd oddi wrth y
10. 1, 2, dynion drwg, cadw fi rhag y gwŷr traws.
al. 38, 2 [k] Y rhai ydynt yn bwriadu drygioni yn [eu]
ar. 12, calon: [ac] yn ymgasclu beunydd [i] ryfel.
. 120, 7 3 [l] Golymmasant eu tafodau fel sarph: gwen-
uaf 3, wyn asp sydd tann eu gwefusau. Selah.
ob 5, 13 4 [m] Cadw fi O Arglwydd o ddwylo'r annuw-
iol, [a] chadw fi rhag y gwŷr traws: y rhai a
fwriadasant fachellu fy nhraed.
il. 35, 7 5 [n] Y beilchion a guddiasant faglau i mi, ac a
, 6
18, 22 estynnasant rwyd [wrth] dannau ar ymmyl y
ir. 29, llwybrau; gosodasant hoenynnau ar fy medr.
Selah.
6 Dywedais wrth yr Arglwydd, Fy Nuw ydwyt
ti, clyw O Arglwydd lef fyng-weddiau.
ob. 6, 7 [o] Arglwydd Dduw nerth fy iechydwriaeth
gorchguddiaist fy mhenn yn nydd brwydr.
ter 5, 8 [p] Na chaniadha Arglwydd ddymuniad yr
ut. 32, annuwiol; na chwpla eu drwg feddwl [rhag] eu
balchio hwynt. Selah.
sa. 9, 9 [q] Y pennaf a'm hamgylchyno, blinder eu
7, 16 gwefusau ai toa hwynt.
n. 19, 10 [r] Syrthied marwor arnynt, a bwried efe
11, 6 hwynt yn tân; [ac] mewn ceu-ffosydd fel na
chyfodant.
t. 19, 11 [s] Dyn siaradus ni wastateuir ar y ddaiar;
drwg hela y gŵr traws i'w ddestruw.

12 [t] Gwn y dial yr Arglwydd y truan, ac y tBren. 8
barna efe y tlodion. 45
13 [u] Y cyfiawn yn ddiau a glodforant dy enw uSal. 32,
di; y rhai iniawn a drigant ger dy fron di. 11 a 16, 11

## PSALM CXLI.

*Psalm Dafydd.*

ARGLWYDD [v] gelwais arnat; bryssia vSal. 70,
attaf; clyw fy llais pan lefwyf arnat. 1
2 [w] Cyfeirier fyng-weddi i'th ŵydd di [fel] wEx. 30,
arogldarth, [a] derchafiad fy nwylo [fel] offrwm 7 1Tim 2, 8
prydnhawnol. Ex. 29, 39
3 [x] Gosot Arglwydd gadwriaeth o flaen fyng- xIob 31, 1
enau; cadw ddrws fyng-wefusau.
4 [y] Na ostwng fyng-halon at ddim drwg i yIago 1,
ddychymmygu dychymmygion mewn drygioni 13 Sal. 57, 1
gyd a'r gwŷr a weithredant anwiredd; ac na ad
ti i mi fwyta oi danteithion hwynt.
5 [z] Cured y cyfiawn fi yn garedig, a cherydded zGal. 6. 1
fi; [ond] na thorred [eu] holew, pennaf [hwynt] Mat. 5, 44
fy mhen; canys fyng-weddi [fydd] etto yn erbyn
eu drygioni hwynt.
6 [a] Tafler eu barn-wyr i lawr mewn lleoedd a 1 Sam.
caregog, fel y clywant fyng-eiriau, canys melus, 23. 26 Esa 28, 19
ydynt.
7 [b] Y mae ein hescyrn ar wascar ar fin y bedd, b2Cor. 1,
megis [un] yn torri, neu yn cymmynu [coed] 9
ar y ddaiar.
8 [c] Eithr arnat ti O Arglwydd Dduw [yr c 2Cron.
edrych] fy llygaid: ynot ti y gobeithiais, na 20, 12
fwrw fy enaid allan.
9 [d] Cadw fi rhag y fagl a osodasant i mi: a dIob 5, 20
hoenynnau gweithred-wŷr anwiredd.
10 [e] Cyd-gwymped y rhai annuwiol yn eu eSal. 7. 16
rhwydau eu hun, hyd onid elwyfi heibio. Diar. 11, 8

## PSALM CXLII.

*Athrawiaeth Dafydd, ai weddi, pan oedd efe yn yr ogof.* Prydnawnol weddi.

GWAEDDAIS [f] a'm llefar yr Arglwydd: fEx. 14, 15
a'm llef yr ymbiliais a'r Arglwydd. Heb. 5, 7
2 [g] Tywelltais fy myfyrdod oi flaen ef: a my- gEsa. 26,
negais fyng-hystudd ger ei fron ef. 16
3 [h] Pan ofidiodd fy ysbryd o'm mewn, tithe a h1Cor. 10
adwaenit fy llwybr, yn y ffordd y rhodiwn y 13
cuddiasant i mi fagl.
4 [i] Edrychais ar y tu dehau, ac wele, ac nid i 2 Cron.
[oedd] gydnabod gennif: pallodd nodded i mi, 20, 12
nid [oedd neb] yn ymofyn am fy enaid.
5 [j] Llefais arnat O Arglwydd, [a] dywedais, jGalar. 3
Ti [yw] fyng-obaith, a'm rhann, yn nhir y rhai 24 Sal. 119,
byw. 57
6 Ystyr wrth fyng-waedd, canys truan iawn
ydwyf: gwaret fi oddi wrth fy erlid-wŷr canys
trech ydynt na mi.
7 [k] Dwg fy enaid allan o garchar i foliannu dy kSal. 34,
enw; y rhai cyfiawn a'm cylchynant pan fyddech 5 a 13, 6 1Cor. 2, 9
da wrthif.

## PSALM CXLIII.

*Psalm Dafydd.*

l Sal. 31,2 ARGLWYDD [l] clyw fyng-weddi, a gwrando ar fy neisyfiad; erglyw fi er mwyn dy
wirionedd, a'th gyfiawnder.
m Iob 14, 3 2 [m] Ac na ddos i gyfraith a'th was, o herwydd
Rhuf. 3, 20 ni chyfiawnheuir neb byw ger dy fron di.
Gal. 2, 16 3 Canys y gelyn a erlidiodd fy enaid, curodd
efe fy enaid i lawr, a gwnaeth i mi drigo mewn
tywyllwch, fel y rhai a fuasent feirw er ystalm.
n Esa. 59, 16 4 [n] Yna'r ymofidiodd fy yspryd o'm mewn;
Deut. 32, 36 [ac] y synnodd fyng-halon ynof.
o Sal. 77, 5 5 [o] Cofiais [er hynny] y dyddiau gynt, myfyr-
1 Sam. 17, 48 iais ar dy holl waith; ac yng-weithredoedd dy
Sal. 111, 2 ddwylo y myfyriaf.
p Sal. 63, 1 6 [p] Lledais fy nwylaw attat; fy enaid fel tir
Esa. 44, 3 sychedic [sydd yn hiraethu] am danat.
q Sal. 88, 3 7 [q] Oh Arglwydd gwrando fi yn ebrwydd:
pallodd fy yspryd, na chuddia dy wyneb oddi
wrthif, rhag fy mod yn gyffelyb i'r rhai a ddes-
cynnant i'r pwll.
r Sal. 90, 14, a 5, 8 8 [r] Par i mi glywed dy drugaredd yn foreu; o
herwydd ynot ti y gobeithiais, par di i mi wybod
pa ffordd y rhodiaf, o blegit attat ti y derchef-
ais fy enaid.
9 Gwaret fi oddi wrth fyng-elynnion O Arg-
lwydd: [canys] gyd â thi 'r ymguddiais.
s Neh. 9, 20 10 [s] Dysc i mi wneuthur dy ewyllys di: can-
Esa 26 12 ys ti [ydwyt] fy Nuw; tywysed dy Ysbryd da-
ionus fi i dir yr iniondeb.
t Sal. 119 88 11 [t] Bywha fi O Arglwydd er mwyn dy enw,
dwg fy enaid allan o ing er mwyn dy gyfiawn-
der.
u Sal 116, 6 12 [u] Ac er dy drugaredd dinistria fyng-elyn-
nion, a difetha holl wrthwyneb-wŷr fy enaid; o
blegit dy was di ydwyf fi.

## PSALM CXLIV.

*Psalm Dafydd.*

Boreuol weddi. BENDIGEDIC [v] [fyddo]'r Arglwydd fy
v Sal 18, 2 nerth, yr hwn sydd yn dyscu fy nwylo i
2 Cor 10 4
Esa 54 17 ymladd, a'm byssedd i ryfela.
2 Fy nhrugaredd a'm hamddeffynfa, fy nhŵr,
a'm gwaredydd, fy amddeffynnudd [yw efe,] ac
ynddo y gobeithiais; yr hwn sydd yn darostwng
fy mhobl tanaf.
w Iob 7, 17 3 [w] Arglwydd beth [yw] dyn, pan gydnabyddit
Heb 2, 6 ef? [neu] fab dyn pan wnaeit gyfrif o honaw?
x Iob 14, 2 4 [x] Dyn sydd debyg i wagedd, fel cyscod y
Sal 39, 5 mae ei ddyddiau yn myned heibio.
y Esa 64, 1 5 [y] Arglwydd gostwng dy nefoedd a descyn,
2 Sam 22, 10 cyffwrdd a'r mynyddoedd a mygant.
z Sal 18, 14 6 [z] Gwna fellt, a gwascar hwynt, gyrr dy
saethau a difa hwynt.
a Sal 69 1 2 7 [a] Anfon dy law oddi uchod, achub, a gwaret
fi o ddyfroedd mawrion, [sef] o law plant estron.
8 Y rhai y llefarodd eu genau wagedd, ac [y
mae] eu deheu-law yn ddeheu-law ffalster.
9 [b] Canaf i ti O Dduw ganiad newydd, ar y b Sal. 33
nabl, [a'r] dectant y canaf i ti.
10 [c] Efe sydd yn rhoddi iechydwriaeth i fren- c 2 Sam
hinoedd, ac yn gwaredu Dafydd ei was oddi 6
wrth gleddyf niweidiol.
11 [d] Achub fi, a gwaret fi o law meibion estron, d Sal 36
y rhai y llefarodd eu genau am wagedd, ac y
mae eu deheu-law yn ddeheu-law ffalster.
12 [e] Fel [y byddo] ein meibion fel plan-wŷdd e Eph 4
yn tyfu oi hieuengctid, a'n merched fel congl- Sal 128
faen nadd yn adailadaeth teml. Deut 28 4
13 [Fel y byddo] ein conglau yn llawn [ac] yn
aml o amryw bethau, a'n defaid yn dwyn
miloedd, a myrddiwn yn ein heolydd.
14 [f] A'n hychen yn gryfion i lafurio, heb na f Deut 28
rhuthro i mewn na myned allan, na gwaedd yn 13
ein heolydd.
15 [g] Gwyn ei fyd y bobl [y mae] felly iddynt, g Deut 33 29
gwyn ei fyd y bobl y [mae]'r Arglwydd yn
Dduw iddynt.

## PSALM CXLV.

*Clodforedd Dafydd.*

DERCHAFAF [h] dy di fy Nuw [a'm] Bre- h Dan 4 18
nin; a bendithiaf dy enw byth, ac yn
dragywydd.
2 Beunydd i'th fendithiaf, a'th enw a folaf
byth, ac yn dragywydd.
3 [i] Mawr [yw'r] Arglwydd, a chanmoladwy i Dan 5 18
iawn; ac ar ei fawredd nid [oes] ddiben Rhuf 11 33
4 [j] Cenhedlaeth wrth genhedlaeth a fawl dy j Esa 38
weithredoedd, ac a fynegant dy gadernid.
5 [k] Ardderchawgrwydd gogoniant dy fawl k Dat 15
a'th bethau rhyfedd a fefyrriaf.
6 [l] Traethant hwy gadernid dy [weithredoedd] l Heb 10
ofnadwy; mynegaf inne dy fawredd.
7 [m] Coffadwriaeth amlder dy ddaioni a draeth- m Dat 15 3
ant; a'th gyfiawnder a ddadcanant.
8 [n] Graslawn, a thrugarog [yw'r] Arglwydd: n Ex 34 6
hwyrfrydic [i] ddig, a mawr [ei] drugaredd.
9 [o] Daionus [yw'r] Arglwydd i bawb; ai o Mat 5 45
drugaredd [sydd] ar ei holl weithredoedd.
10 [p] Dy holl weithredoedd di a'th glodforant p Sal 19 1
O Arglwydd; a'th saint a'th fendithiant. Iago 5 9
11 [q] Dywedant am ogoniant dy frenhiniaeth; q Luc 1
a thraethant dy gadernid. Dan 11
12 [r] I beri i feibion dynnion adnabod ei ga- r Sal 1
dernid ef; a gogoniant ardderchawgrwydd ei Pennod
frenhiniaeth.
13 [s] Dy frenhiniaeth di [sydd] frenhiniaeth s 2 Pedr 1 11
dragywyddol; a'th lywodraeth [a bery] yn oes 1 Cor 15
oesoedd.
14 [t] Yr Arglwydd sydd yn cynnal y rhai oll t Sal 146
a syrthiant; ac sydd yn codi pawb a ddarost-
yngwyd.
15 [u] Llygaid pawb a ddisgwiliant wrthit, ac yr u Sal 104 27

ydwyt yn rhoddi eu bwyd iddynt yn ei bryd:
16 Gan agorid dy law, a diwallu pob peth
byw [a'th] ewyllys da.
v Dat 15, 3 — 17 v Cyfiawn [yw'r] Arglwydd yn ei holl
ffyrdd: a sanctaidd yn ei holl weithredoedd.
w Ioan 4, 24 — 18 w Agos [yw'r] Arglwydd i'r rhai oll a alwant
arno: [sef] i'r holl rai a alwant arno mewn
gwirionedd.
x Ioan 5, 11 — 19 x Efe a wnaiff ewyllys y rhai ai hofnant:
gwrendu hefyd eu llefain, ac ai hachub hwynt.
y Sal 90 14 — 20 y Yr Arglwydd sydd yn cadw pawb ai
carant ef, a'r holl rai annuwiol a ddifetha efe.
z Ioel 2 28, Esa 44 3, Sal 65 2 — 21 z Traethed fyng enau foliant yr Arglwydd:
a bendithied pob cnawd ei enw sanctaidd ef
byth ac yn dragywydd.

## PSALM CXLVI.

*Molwch yr Arglwydd.*

a Sal. 103, 1 — FY a enaid mola di'r Arglwydd.
b Sal. 104, 33 — 2 b Molaf yr Arglwydd yn fy myw: canaf
i'm Duw tra fyddwyf.
c Sal. 118, 8 — 3 c Na hyderwch ar dywysogion [nac] ar fab
dyn, yr hwn nid [oes] iechydwriaeth ganddo.
d Esa. 2, 22; Gen. 3, 19; Preg. 12, 7 — 4 d Ei anadl a aiff allan, efe a ddychwel iw
ddaiar: y dydd hwnnw y derfydd am ei [holl]
amcannion ef.
e Ier. 17, 7; Sal. 144, 15 — 5 e Gwyn ei fyd yr hwn [y mae] Duw Iacob
yn gymmorth iddo: [ac y sydd] ai obaith yn yr
Arglwydd ei Dduw.
f Gen. 1, 1; Sal. 14, 7 — 6 f Yr hwn a wnaeth nefoedd, a daiar, y môr
a'r hyn oll [sydd] ynddynt: yr hwn sydd yn
cadw [ei] wirionedd yn dragywydd.
g Esa. 61, 1 — 7 g Yr hwn sydd yn gwneuthur barn i'r rhai
gorthrymmedic, [ac] yn rhoddi bara i'r newynoc:
yr Arglwydd sydd yn gollwng carcharorrion
yn rhydd.
h Ioan 9, 7; Luc 13, 9 — 8 h Yr Arglwydd sydd yn agoryd [llygaid] y
deillion, yr Arglwydd sydd yn codi y rhai a
ddarostyngwyd: yr Arglwydd sydd yn hoffi y
rhai cyfiawn.
i Iob 19, 6 — 9 i Yr Arglwydd sydd yn cadw y dieithriaid,
efe a gynnal yr ymddifad a'r weddw: ac a
ddryssa ffordd y rhai annuwiol.
j Dat. 11, 15 — 10 j Yr Arglwydd a deyrnasa byth: dy Dduw
di Sion [fydd] dros genhedlaeth a chenhedlaeth.
Molwch yr Arglwydd.

## PSALM CXLVII.

k ydwnol oddi. Sal. 92, 1; Sal. 33, 1 — MOLWCH k yr Arglwydd, canys da [yw]
canu i'n Duw ni: o herwydd hyfryd yw,
[e] prydferth yw mawl.
l Sal. 102, 16 — 2 l Yr Arglwydd sydd yn adailadu Ierusalem,
efe a gascl wascaredigion Israel.
m Sal. 51, 17 — 3 m Yr hwn sydd yn iachau y rhai briwedic o
galon, ac yn rhwymo eu doluriau.
n Esa. 40, 26 — 4 n Y mae efe yn rhifo rhifedi y sêr, geilw
hwynt oll wrth eu henwau.

5 Mawr [yw] ein Harglwydd, ac aml ei nerth,
anneirif [yw] ei ddoethineb.
6 o Yr Arglwydd sydd yn cynnal trueniaid, — o Sal. 146, 9 a 73, 18
gan ostwng y rhai annuwiol hyd lawr.
7 Cenwch i'r Arglwydd mewn clodforedd:
cenwch i'n Duw a'r delyn.
8 p Yr hwn sydd yn toi y nefoedd â chwmylau: — p 1 Bren. 18, 45; Iob 38, 26
[ac] yn paratoi glaw i'r ddaiar: gan beri i'r
gwellt dyfu ar y mynyddoedd [a llysiau i was-
anaeth dyn.]
9 q Yr hwn sydd yn rhoddi i'r anifail ei borth- — q Sal. 104, 27; Iob 38, 41
iant: [ac] i gywion y gig-fran pan lefant.
10 Nid oes ewyllys ganddo yn nerth march:
ac nid ymhoffa efe yn ysceiriau gŵr.
11 Yr Arglwydd sydd yn hoffi y rhai ai hof-
nant ef: [sef] y rhai a ddisgwiliant wrth ei
drugaredd ef.
12 Ierusalem mola di'r Arglwydd, Sion mol-
ianna dy Dduw.
13 O herwydd efe a gadarnhaodd farrau dy
byrth, ac a fendithiodd dy blant o'th fewn.
14 r Yr hwn sydd yn gosod dy fro yn heddych- — r Esa. 60, 17, 18; Ier. 12, 12
ol, [ac] a'th ddiwalla di â braster gwenith. — a 15, 18
15 Yr hwn sydd yn anfon ei orchymyn [ar] y — a 17, 3
ddaiar: ai air a rêd yn dra buan.
16 s Yr hwn sydd yn rhoddi eira fel gwlân: — s Iob 37, 6
[ac] a dana rew fel lludw.
17 t Yr hwn sydd yn bwrw iâ fel tammeidiau, — t Diar. 27, 4
Pwy a erys gan ei oerni ef?
18 Efe a enfyn ei air, ac ai tawdd hwynt, ai
wynt y chwyth efe, a'r dyfroedd a lifant.
19 u Y mae efe yn mynegu ei eiriau i Iacob: — u Deut. 10, 4.
ei ddeddfau ai farnedigaethau i Israel.
20 v Ni wnaeth efe felly ag un genedl: ac nid — v Rhuf. 3, 1 a 9, 4, 5
adnabuant farnedigaethau [r Arglwydd.] Mo-
lwch yr Arglwydd.

## PSALM CXLVIII.

*Molwch yr Arglwydd.*

MOLWCH w yr Arglwydd o'r nefoedd: — w Dat. 5, 13
molwch ef yn yr uchelder.
2 x Molwch ef ei holl angelion ef: molwch ef — x Sal. 103, 20, 21
ei holl luoedd. — Gen. 2, 1
3 y Molwch ef haul a lleuad: molwch ef yr — y Sal. 19, 1
holl sêr [a] goleuni. — Dat. 2, 1
4 z Molwch ef nef y nefoedd: a'r dyfroedd y — z 2 Cor. 12, 2
rhai [ydych] oddi ar y nefoedd. — Gen. 1, 7
5 a Molant enw'r Arglwydd: o herwydd [efe — a Sal. 33, 9
a ddywedodd y gair, a hwynt a wnaed,] efe a
orchymynnodd, a hwynt a greuwyd.
6 b A gwnaeth iddynt barhau byth yn dragyw- — b Sal. 119, 91
ydd: gosododd ddeddf, ac nis trosseddir hi:
7 c Molwch yr Arglwydd ar y ddaiar, y dreig- — c Esa. 43, 20
iau a'r holl ddyfnderau.
8 d Tân a chenllysg, eira, a tharth: [a] gwynt — d Sal. 147, 15, 16
ystormus yn gwneuthur ei air ef.
9 e Y mynyddoedd a'r bryniau oll, y coed — e Esa. 42, 11

ffrwythlawn a'r holl cedr-wŷdd.
f Rhuf. 8, 19, 20, 21 10 [f] Y bwyst-filod, a phob anifail: yr ymlusc-
iaid, ac adar ascelloc.
11 Brenhinoedd y ddaiar a'r holl bobloedd,
tywysogion a holl farnwyr y byd.
12 Gwyr ieuaingc a gweryfon hefyd: henaf-
gwyr a llangciau:
13 Molant enw'r Arglwydd: o herwydd ei
enw ef yn unic sydd dderchafadwy: ei ardder-
chawgrwydd ef [sydd] uwch law daiar a nef-
oedd.
g Luc 1, 69 14 [g] Ac efe sydd yn derchafu corn ei bobl, yn
Eph. 1, 13 a 2, 13 foliant i'w holl sainct [sef] i feibion Israel pobl
agos iddo. Molwch yr Arglwydd.

## PSALM CXLIX.

*Molwch yr Arglwydd.*

h Dat. 14, 3 a 19, 1, 2, 3 CENWCH [h] i'r Arglwydd ganiad newydd:
[bydded] ei foliant ef yng-hynnulleidfa y
sainct.
i 1 Tim 6, 15 2 [i] Llawenhaed Israel yn yr hwn a'i gwnaeth:
Mat. 21, 5 gorfoledded meibion Sïon yn eu brenin.
3 Molant ei enw ef ar y dawns: canant iddo
ar dympan a thelyn.
j Diar 11, 20 4 [j] O herwydd hoffodd yr Arglwydd ei bobl:
Esa. 60, 7 efe a brydfertha y rhai llednais ag iechydwr-
iaeth.
5 Gorfoledded y sainct mewn gogoniant: a
chanant yn eu gwelau.
6 [k] [Bydded] ardderchog weithredoedd Duw k Dat. 18, 20
yn eu genau: a chleddyf [dau] finioc yn eu Eph. 6, 17
dwylo,
7 [l] I beri dial ar genhedloedd, a chosb ar l Ier. 50, 20
bobloedd:
8 [m] I rwymo eu brenhinoedd â chadwynau: m Dat. 19, 18
ai pendefigion â gefynau heirn.
9 [n] I wneuthur arnynt farn scrifenedic: yr n Num. 24, 17
ardderchawgrwydd hyn fydd i'w holl sainct ef. Dat. 17, 14
Molwch yr Arglwydd.

## PSALM CL.

*Molwch yr Arglwydd.*

MOLWCH [o] Dduw yn ei sancteiddrwydd; o Sal. 19, 1
molwch ef yn ffurfafen ei nerth.
2 [p] Molwch ef yn ei gadernid: molwch ef yn p Sal. 145, 6
ol amlder ei fawredd.
3 Molwch ef â llais udcorn: molwch ef â Dat. 11, 17
nabl, ac â thelyn. Act. 2, 11
4 Molwch ef â thympan, ac â dawns: molwch Luc 1, 46 Deut. 3, 24
ef â thannau, ac ag organ.
5 Molwch ef â symbalau soniarus: molwch
ef â symbalau llafar.
6 [q] Pob [perchen] anadl molianned yr Ar- q Rhuf. 1, 19
glwydd. Molwch yr Arglwydd. Eph. 5, 19 Col. 3, 16

*TERFYN PSALMAU DAFYDD.*

---

# DIHAREBION SALOMON.

## PENNOD I.

1 *Ffrwyth gair Duw, ai ofn.* 10 *Mor enbyd yw cydtuno a'r drygionus,* 20 *A dirmygu doethineb.*

a 1 Bren. 4, 32 DIHAREBION [a] Salomon fab Dafydd
brenin Israel,
2 I ddyscu doethineb, ac addysc, i ddeall
geiriau synhwyrol.
b Mat. 7, 21 3 [b] I gymmeryd dehallus athrawiaeth, cyfiawn-
der, a barn, ac iniondeb.
4 I roi callineb i'r anghall, ac i'r bachgenyn
wybodaeth, a synnwyr.
5 Y doeth a wrendu, ac a chwanega ei ath-
rawiaeth, a'r deallgar a ddaw i bwyll,
c Heb. 5, 14 6 [c] I ddeall parabl ai ddeongl, geiriau'r doeth-
ion ai dammegion.
d Sal. 111, 10 7 [d] Ofn yr Arglwydd yw dechreuad gwybod-
aeth: ffoliaid a ddiystyrant ddoethineb, ac addysc.
8 Fy mab gwrando addysc dy dad, ac nac
ymado â chyfraith dy fam.
e 1 Pedr 3, 3 9 [e] Canys cynnydd gras a fyddant hwy i'th
ben, a chadwyn i'th wddf di.
10 [f] Fy mab os pechaduriaid a'th ddenant, na f Eph. 5, 11
chydtuna â hwynt.
11 [g] Os dywedant, Tyret gyd â ni, cynllwynwn g Rhuf. 3, 15
am waed, nyni a ymguddiwn yn erbyn y gwirion
yn ddiachos:
12 Nyni ai llyngcwn hwy yn fyw fel y bedd,
ac yn gyfan fel rhai yn descynn i'r pydew:
13 [h] Nyni a gawn bob cyfoeth gwerth-fawr, h 1 Tim. 6, 10
nyni a lanwn ein teiau ag yspail: Hab. 2, 9
14 Bwrw dy goel-bren yn ein mysc, bydded
un pwrs i ni oll:
15 Fy mab na rodia yn y ffordd gyd â hwynt,
attal dy droed rhag eu llwybr hwy.
16 [i] Canys eu traed a redant i ddrygioni, ac a i Esa. 59, 7
brysurant i dywallt gwaed.
17 Gwaith ofer yw tanu rhwyd yng-olwg pob
perchen aden:
18 Felly y maent hwy yn cynllwyn am eu
gwaed hwynt: am eu heinioes hwynt y maent
yn llechu.

19 Dymma lwybrau y rhai oll a ydynt chwan-
nog i olud, [golud] â ddwg einioes ei pher-
chennogion.
jCol. 2,3 Ioan 7,37 20 j Doethion sydd yn gweiddi oddi allan; y
mae hi yn llefain yn yr heolydd.
kAct. 17, 22 21 k Y mae hi yn galw mewn lleoedd uchel,
mewn tyrfau yn nrysau y pyrth, ym[mhob] dinas
y mae hi yn traethu ei hymadroddion.
lHeb 5, 11 22 l Pa hyd chwi ynfydion y cerwch chwi
ynfydrwydd? a pha hyd O watwarwyr y bydd
hoff gennych watwariaeth? a pha hyd y casâ
ffoliaid wybodaeth?
23 Dychwelwch at fyng-hospedigaeth, wele
mi a dywalltaf fy yspryd i chwi, fyng-eiriau a
ddangosaf i chwi.
mDat. 3, 20 24 m Yn gymmeint ag i mi eich gwahodd, a
chwithau yn necau o ddyfod, i mi ystynu fy
llaw oddi wrthif, a neb heb droi attafi:
25 Onid bod pawb yn tynnu yn ol eu cefnau
oddi wrth fy holl gyngor i, heb fod yn fodlon
i'm cospedigaeth:
Mat. 7,2 …ac 21,26 Mat. 6,15 26 n Minne hefyd a chwarddaf yn eich dialedd
chwi, mi a escydwaf fy mhen, pan syrthio
arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni.
Dat. 19, 27 o Pan syrthio yr hwn yr ydych yn ei ofni
arnoch megis destruw disymmwth, a phan nesao
eich dialedd attoch megis tro-wynt, pan ruthro
arnoch wascfa a chaledi:
28 Yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf,
yn foreu i'm ceisiant, ond ni'm caant.
Iob 2, 29 p Canys câs fu ganddynt wybodaeth, ac
…ch 10,32 ofn yr Arglwydd ni ddewisasant.
…al. 81, 30 q Ni chymmerent ddim o'm cyngor i, ond
dirmygu fy holl gospedigaeth.
Esa. 3, 31 r Ac am hynny hwy a gânt fwyta ffrwyth
…37,4 eu ffordd eu hunain, ai llenwi ai chynghorion
eu hunain.
32 Canys esmwythtra y rhai anghall ai lladd
hwy: a llwyddiant y rhai ffol ai difetha hwynt.
…al. 37, …1 33 s Er hynny y sawl a wrandawo arnafi a
gaiff aros yn ddiogel, ac a gaiff lonyddwch oddi
wrth fraw drwg.

## PEN. II.

*Duw yn rhoddi doethineb yr hon sydd yn dyscu ofni Duw, 10 Ac yn cadw oddi wrth ddrygioni.*

…L.119, FY t mab os derbynni di fyng-eiriau, ac os
cuddi fyng-orchymynnion gyd â thi.
…huf 12 2 u Os peri i'th glustiau wrando ar ddoethineb,
os gogwyddi dy galon at ddeall:
…go1,5 3 v Ac hefyd os gelwi ar ol gwybodaeth, os
llefi am ddeall,
…at. 6, 13,44 4 w Os chwili am dani fel am arian, os cloddi
am dani fel am dryssorau.
…at 12, 5 x Yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y
cei wybodaeth o Dduw.
6 Canys yr Arglwydd pie rhoi doethineb,
allan oi enau ef y mae gwybodaeth a deall [yn
dyfod.]
7 y Y mae ganddo ef yng-hadw i'r rhai iniawn yIoan 6, 27
iechydwriaeth: tarian yw efe i'r sawl a rodiant
yn ddiragrith.
8 z Y mae efe yn cadw ffordd ei sainct, fel y zMat. 7, 13
gallant gadw llwybrau barn. 1Sam. 2,9
9 a Yna y cei di ddeall cyfiawnder, a barn, ac aIer. 6,16
iniondeb, a phob llwybr daionus.
10 b Pan ddelo doethineb i mewn i'th galon, a bIob 23, 12
phan fyddo hyfryd gan dy enaid wybodaeth, Sal. 19,10
11 Yna cyngor a'th warche, a synwyr a'th
geidw.
12 c Hi a'th achub di oddi wrth y ffordd c2Thes. 3, 3
ddrwg, ac oddi wrth y dyn a lefaro drawsedd.
13 d Ac oddi wrth y rhai a ymadawant a'r dIoan 3, 19
llwybrau iniawn er mwyn rhodio mewn ffyrdd
tywyll.
14 Y rhai a ymlawenychant yn gwneuthur
drwg, ac a ymddigrifant yn anwiredd y dryg-
ionus.
15 Y rhai sydd ai ffyrdd yn geimion, ac yn
war-syth yn eu llwybrau.
16 e Ac yna i'th waredir oddi wrth y fenyw eDat. 17, 3
estronaidd, oddi wrth y ddieithr wenieithus ei Preg. 7, 26
geiriau. Rhuf. 16, 18
17 f Yr hon a ymedu a llywodraeth-wr ei fMal. 2, 14
hieuengctid, ac a ollwng dros gof gyfammod
ei Duw.
18 g Canys y mae ei thŷ yn gwyro at angeu: g2Pedr 2, 12
ai llwybrau at y meirw.
19 h Y rhai oll a elont i mewn atti hi ni ddych- h2Thes. 2, 11
welant, ac nid ymafaelant yn ffyrdd y bywyd.
20 Am hynny rhodia di rhyd ffordd gwŷrda,
a chadw ffordd y cyfiawn.
21 i Canys y gwŷr cyfiawn a bresswyliant y iSal. 37,9 11, 12
ddaiar, a'r rhai diragrith a gânt aros ynddi.
22 j Ond yr annuwolion a dorrir oddi ar y jDat. 14, 16
ddaiar, ar trossedd-wyr a ddiwreiddir allan o Sal. 37, 2
honi hi.

## PEN. III.

*Cyngor i wrando tad, 5 I wasanaethu Duw, 11 I dderbyn ei gospedigaeth, 22 Ac i ddilyn ei air ef.*

FY mab na ollwng fyng-hyfraith i tros gof,
ond cadwed dy galon di fyng-orchym-
ynnion.
2 k Canys hwynt a estynnant dy ddyddiau, a kSal. 119 165
blynyddoedd dy fywyd a'th heddwch.
3 l Na âd ti i drugaredd a gwirionedd ymadael lSal. 25, 21
â thi: cylymma hwy am dy wddf, scrifenna 2Cor. 3,3
hwy ar lech dy galon.
4 m Felly y cei di ras, a deall da ger bron mLuc 2, 52
Duw, a dynnion.
5 n Gobeithia yn yr Arglwydd a'th holl galon, nHab. 3, 17
ac nac ymddyried i'th ddoethineb dy hun. Ier. 9,25
6 Yn dy holl ffyrdd cydnebydd di ef, ac efe a

hyfforddа dy lwybrau di.
7 Na fydd ddoeth yn dy olwg dy hun, ond
ofna yr Arglwydd, a thynn ymmaith oddi wrth
ddrygioni.
8 Hynny a fydd iechyd i'th fogel, a mêr i'th
escyrn.
o Ex. 22, 29 9 o Anrhydedda yr Arglwydd a'th gyfoeth, ac
a'r peth pennaf o'th holl ffrwyth:
p 1 Tim. 2, 8 10 p Felly y llenwir dy yscuboriau â digonol-
deb, a'th win-wryfoedd a lenwir o wîn newydd.
q Iob 5,17 11 q Fy mab na wrthot gerydd yr Arglwydd,
ac na laesa er ei gospedigaeth ef.
r Dat. 3, 19 12 r Canys y neb a fyddo Duw yn ei garu,
Heb. 12,6 efe ai cerydda megis tad ei fab annwyl.
13 Gwyn ei fyd y dyn a gaffo ddoethineb, a'r
dyn a ddygo ddeall allan.
s Dat. 3, 18 14 s Canys gwell yw ei marsiandiaeth hi, na
marsiandiaeth o arian, ei chynnyrch hi sydd
well nag aur.
t Phil. 3,7 8 15 t Gwerthfawrocach yw hi na gemmau, a'r
Mat. 13, 44 boll bethau dymunol nid ydynt gyffelyb iddi hi.
u 1 Tim. 4 8 16 u Hir hoedl sydd yn ei llaw ddehau hi, ac
yn ei llaw asswy y mae cyfoeth a gogoniant.
v Mat. 11, 29, 30 17 v Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfryd, ai holl
Rhuf. 5,1 lwybrau hi ydynt lwyddiannus.
18 Pren bywyd yw hi i'r neb a ymaflo ynddi:
gwyn ei fyd ef a ddalio ei afael ynddi hi.
w Ioan 1, 3 19 w Yr Arglwydd trwy ddoethineb a seiliodd
Col 1, 16 y ddaiar, trwy ddeall y siccrhaodd ef y nefoedd.
20 Drwy ei wybodaeth ef yr holltodd y
dyfnderau a'r cwmylau, ac y defnynna yr wybr-
ennau wlith.
x Heb. 2, 1 21 x Fy mab, na ollwng hwynt allan o'th
olwg, cadw ddoethineb, a challineb.
y Esa. 58, 16 22 y Yna y byddant yn fywyd i'th enaid, ac yn
ras i'th wddf.
23 Yna y cei di rodio ffordd yn ddiofal, ac ni
friwi dy droed.
24 z Pan orweddech, nid ofni, a'th gwsc fydd
z Lef. 26, 6 melys tra gorweddech.
Act. 12,6 a Dan. 3, 17 25 a Nid rhaid it ofni [rhag] braw ddisym-
mwth, na rhag dinistriad yr annuwiol pan
syrthio arnynt.
b Iob 4, 6 26 b Canys yr Arglwydd a fydd dy hyder di,
Sal. 91,11 ac a geidw dy droed rhag ei ddal.
c Gal 6 10 27 c Na attal ddaioni oddi wrth y rhai y byddo
Rhuf. 13, 7 ei eisieu arnynt, pan allech ei wneuthur.
d Iago 2, 15 28 d Na ddywet wrth dy gymmydog, Cerdda
ymmaith, a thyret amser arall, y foru mi a
roddaf i ti [beth,] a chennyf [beth yn awr iw
roddi iddo.]
29 Na feddylia ddrwg yn erbyn dy gymmyd-
og, ac yntef yn trigo yn ddiofal yn dy ymyl.
e Rhuf. 12 15 30 e Nac ymryson â neb heb achos, oddieithr
iddo wneuthur drwg i ti.
f Sal. 37, 8 31 f Na chenfigenna wrth ŵr traws, ac na
ddewis yr un oi ffyrdd ef.
32 Canys ffiaidd gan yr Arglwydd y [dyn]
cyndyn, ond gyd a'r rhai iniawn y mae ei
gyfrinach ef.
33 g Melldith yr Arglwydd sydd yn-nhŷ yr g Zec. 5 4
annuwiol, ond efe a fendithia drigfa y cyfiawn. Sal. 1, 3
34 h Efe a watwar y gwatwarus, ond ei ras a h Iago 4, 6
rydd efe i'r ufydd.
35 i Y doethion a etifeddant anrhydedd, a i Luc 14, 10
gwarth [fydd] derchafiad ffyliaid. Est. 7, 10

## PEN. IV.

*Cyngor i geisio doethineb, 14 I ochelyd drygioni, 20 ac i'n llywodraethu wrth air Duw.*

GWRANDEWCH j y plant addysc [eich] j Sal. 34, 11 1 Sam. 2, 25
tad, ac erglywch i ddyscu deall.
2 k Canys yr ydwyf fi yn rhoddi i chwi addysc k 1 Tim. 4, 6
dda, am hynny na wrthodwch fyng-hyfraith. Tit 1 9
3 l Pan oeddwn fab fy nhad, yn dyner, ac yn l 1 Cron 29 1
annwyl yng-olwg fy mam,
4 m Efe a'm dysce, ac a ddywede wrthif, Dal- m Eph 6 4
ied dy galon fyng-eiriau, cadw fyng-orchymyn-
ion, a thi a gei fywyd.
5 Cais ddoethineb, cais ddeall, na ad dros
gof, ac na ŵyra oddi wrth eiriau fyng-enau.
6 n Na ollwng hi oddi wrthit, ac hi a'th geidw, n 2 Thes 2 10
car hi, ac hi a'th wared di.
7 o Cyntaf peth yw doethineb, cais ddoethineb, o Mat 13 44
ac uwch law dy holl gyfoeth cais ddeall.
8 p Derchaf di hi, ac hi a'th dderchafa dithe, hi p 1 Sam 2 30
a'th ddwg di i anrhydedd, os cofleidi hi. Dan 1 ?
9 Hi a rydd chwaneg o ras i'th ben di, [ie] hi a
rydd i ti goron gogoniant.
10 Gwrando fy mab, a derbyn fyng-eiriau, a
blynyddoedd dy fywyd a amlheuir.
11 q Yr ydwyf yn dy ddyscu yn ffordd doeth- q Ier 31 22
ineb, ac yn dy dywys yn llwybrau cyfiawnder.
12 r Pan roddech dy gerddediad ni bydd gy- r Sal 91 11
fyng, a phan redech ni syrthi.
13 s Ymafel mewn addysc, ac na phaid, cadw s 1 Thes 5 21
hi, canys bywyd yw hi. Ioan 17 3
14 Na ddos i ffordd yr annuwolion, ac na
rodia ar hyd ffordd y drygionus.
15 t [Gochel] hi, na ddos ar hyd-ddi, cilia t 1 Thes 5 22
oddi wrthi hi, a dos heibio.
16 u Canys ni chyscant, nes gwneuthur drwg, u Sal 36 4
ai cwsc a gollant nes iddynt gwympo [dyn.]
17 v Canys y maent yn bwytta bara annuwiol- v Sal 11 4
deb, ac yn yfed gwîn trais.
18 w [Onid] llwybr y cyfiawn a lewyrcha, fel y w Iob 18 5
llewyrch yr hwn a lewyrcha fwy-fwy hyd ganol
dydd.
19 x Onid ffordd y drygionus sydd fel y tyw- x 1 Sam 2 9
yllwch, ni wyddant pa le y syrthiant. Ioan 12 35
20 y Fy mab gwrando ar fyng-eiriau gogwydda
dy glust at fy ymadroddion.
21 Na âd iddynt fyned ymmaith o'th olwg, y Iago 1 21

cadw hwynt yng-hanol dy galon.
22 Canys bywyd ydynt i'r neb ai caffant, ac
iechyd iw holl gnawd.
gEsa. 29, 3 23 g Cadw dy galon yn dra ddiysceulys, canys
Mat. 15,8 allan o honi y daw bywyd.
a Iago 3, 24 a Bwrw oddi wrthit enau tauog, a gwefus-
25 au trofaus ym mhell oddi wrthit.
b Heb. 11 25 b Edrycbed dy lygaid ar yr iniawn, a chy-
27 farwydded amrantau dy lygaid dy ffordd o'th
flaen.
c Heb. 12, 26 c Ystyria lwybr dy draed, a threfna dy
13 ffyrdd yn iniawn.
d Deut. 5 27 d Na thro ar y llaw ddehau, nac ar y llaw
32 Rhuf. 12, asswy, ond symmut dy droed oddi wrth ddryg-
9 ioni.

## PEN. V.

*Cyngor yn erbyn dilyn puttain.*

e Iago 1, FY e mab, gwrando ar fy noethineb, a gostwng
19 dy glust at fyng-wybodaeth.
f Mal. 2,7 2 f Fel y gellech ystyrio cynghorau, a'th we-
fusau gadw gŵybodaeth.
g Rhuf. 17 3 g Canys gwefusau y ddieithr a ddiferant [fel]
2 y dil mêl, ai gênau yn llyfnach nag olew.
h Preg. 7, 4 h Ond ei diwedd hi fydd chwerw fel y wer-
27 mod, [ac] yn llym fel cleddyf dau-finiog.
Dat. 17,4 5 i Ei thraed hi a ddescynnant i angeu, ai
cherddediad a sang uffern.
Preg. 1, 6 j Rhag i ti ystyrio ffordd bywyd, y symmud
Thes. 2, ei chamrau hi heb ŵybod i ti.
10 7 k Yr awr hon yntef blant gwrandewch ar-
Sal. 34, naf fi, ac nac ymadewch â geiriau fyng-enau.
1 8 Cadw dy ffordd ym mhell oddi wrthi hi, ac
na nessa at ddrws ei thŷ hi.
Thes. 4 9 l Rhag i ti roddi dy brydferthwch i eraill,
Dat. 14,9, a'th flynyddoedd i'r creulon.
Ioan 10 10 m Rhag llenwi'r estron a'th gyfoeth di, ac
i'th lafur fod yn-nhŷ dieithr.
Dat. 2, 11 n Ac o'r diwedd i ti duchan, wedi i'th
gnawd a'th gorph gurio,
12 A dywedyd, Pa fodd y caseais i addysc?
pa fodd y dirmygodd fyng-halon gospedigaeth?
13 Ac ni wrandewais ar lef fy athrawon, ac
ni ostyngais fyng-hlust i'm discawdwŷr.
Cor. 5, 14 o Bu agos i bôb drwg a dyfot arnafi, yng-
5 hanol y gynnulleidfa, a'r dyrfa.
15 Yfddwfr o'th bydew dy hun, ac o'r ffrydau
a fyddant yn rhedeg allan o'th ffynnon dy hun.
16 Tardded dy ffynhonnau allan, a'th ffryd-
au dwfr yn yr heolydd.
1 Thes. 17 p Ond byddant yn eiddo ti dy hun yn unic,
4 ac nid yn eiddo dieithraid gyd â thi.
Cor. 7, 18 q Bydded dy ffynnon yn fendigedic, ac ym-
al. 2,11 lawenhâ gyd a gwraig dy ieuengctid.
an. 2,9 19 r [Bydded fel] ewig gariadus, ac fel iwrch
1. 17 a 5 a 5,7 hawddgar i ti: gâd i'w bronnau hi dy lenwi bob
ph. 4,13 amser, ac ymfodlona yn ei chariad hi yn oes-
tadol.
20 Pa ham fy mab yr ymddigrifi yn y wraig
ddieithr, ac y cofleidi fonwes yr hon nid yw
eiddot ti?
21 Canys ffyrdd dŷn ydynt yng-olwg yr Ar-
glwydd, ac y mae efe yn dal ar ei holl lwybrau ef.
22 Ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol,
ac efe a rwymir â rhaffau ei bechod ei hun.
23 s Efe fydd farw o eisieu addysc, ac rhag s Hos. 4, 14
maint ei ffolineb yr aiff ar gyfeiliorn. Heb. 12,5 6,7

## PEN. VI.

*Am fachniaeth. 5 Diogi. 12 Cynneddf y drygionus. 16 Y chwe pheth cás gan Dduw. 20 Gair Duw. 24 A drygioni puttain.*

FY mab os machniaist dros dy gymmydog,
[ac os] tarewaist dy law [yn llaw] y dieithr.
2 Ti a faglwyd â geiriau dy enau, ti a ddal-
iwyd â geiriau dy enau.
3 Gwna hyn yr awr hon (fy mab), a gwaret
dy hun gan i ti syrthio i law dy gymmydog,
cerdda, ac ymostwng iddo, ac ymbil a'th gym-
mydog.
4 t Na ddyro gwsc i'th lygaid, na hûn i'th t Sal. 132, 4
amrantau.
5 Gwaret dy hun fel yr iwrch o law [yr
heliwr,] ac fel aderyn o law yr adar-wr.
6 u Cerdda at y morgrugyn tydi segurllyd, u Iob 12,7
edrych ar ei ffyrdd ef, a dysc synnwyr. Mat. 6,26
7 Nid oes ganddo neb iw arwain, iw lywod-
raethu, nac iw feistroli.
8 v [Ac er hynny] y mae yn paratoi ei fywyd v 2 Tim. 6 19
amser haf, ac yn casclu ei lynniaeth amser
cynhaiaf.
9 w Pa hyd ddiogyn y gorweddi? pa bryd y w Esa. 56 10
cyfodi o'th gwsc? Rhuf. 13, 11
10 Ychydig chwaneg o gyscu, ychydig chwa-
neg o hepian, ychydig chwaneg o wascu dwy-
law i gyscu.
11 x Am hynny yn y cyf-amser y daw tlodi x 2 Thes. 3, 10
arnat fel ymdeithudd a'th angen fel gŵr arfog.
12 y Dyn i'r fall, [a] gŵr anwir a rodia â genau y Mat. 25 26
traws. 1 Tim. 5, 13
13 z Efe a amneidia ai lygaid, efe a fynega z Iob 15,12 2 Thes. 3, 11
[eiriau] ai draed, [ac] a ddysc ai fysedd.
14 a Y mae pob rhyw drawsedd yn ei galon, y Esa. 58,9 Rhuf. 6, 12
mae yn dychymmyg drygioni bob amser, ac yn a Mica 2, 1
peri cynnen.
15 b Am hynny ei ddinistr a ddaw arno: yn b 2 Cron. 36, 16
ddisymmwth y dryllyr ef, fel na byddo medd-
iginiaeth.
16 Y chwe pheth hyn sydd gâs gan yr Ar-
glwydd: ie saith beth sydd ffiaidd ganddo ef.
17 c Llygaid beilchion, tafod celwyddog, a'r c Sal. 101, 5 a 120, 3
dwylo a dywalltant waed gwirion.
18 d Y galon a ddychymmygo feddyliau drwg, d Ier. 4,14 Rhuf. 3, 15
traed yn rhedeg yn fuan i wneuthur drwg. Esa. 59,7

eZec.5,4 Sal.15,3 19 e Tyst celwyddog yn dywedyd celwydd,
a'r neb a gyfodo gynnen rhwng brodyr.
fEph.6,1 20 f Fy mab cadw orchymyn dy dad, ac nag
ymado â chyfraith dy fam.
gDeut.6 8 21 g Rhwym hwynt * ar dy galon yn oestadol
cylymma hwynt am dy wddf.
hSal.19,8 22 h Pan rodiech, hi a'th gyfarwydda, pan
orweddech hi a'th wilia di, pan ddeffroech, hi a
gyd ymddiddan â thi.
23 Canys canwyll yw'r gorchymyn, a goleuni yw'r gyfraith, a ffordd i fywyd yw cospedigaeth addysc.
iDat.27,2 24 i I'th gadw rhag y fenyw ddrwg, a rhag
gweniaeth tafod y ddieithr.
j Mat.5, 28 25 j Na chwennych ei phryd yn dy galon, ac
na âd ti iddi dy ddal ag amrantau ei llygaid.
kEzec.13 18 25 k O blegit y fenyw butteinig [y dâw gwr i
Dat.17,5 gardotta] tammaid o fara, a gwraig gŵr arall a
Gen.39, 14 hela yn ôl yr enaid gwerth-fawr.
l1Cor.7, 1 27 l A ddichon gŵr arwain tân yn ei fynwes,
2 Cor.8, 20, 21 heb losci ei ddillad?
Heb.13,3 28 A ddichon gŵr rodio ar hyd marwor, ac
heb losci ei draed?
29 Felly pwy bynnac a el at wraig ei gymmydog, ac a gyffyrddo â hi ni bydd digerydd.
30 Ni wradwyddir lleidr yr hwn a ledrattao
i ddadebru ei enaid, pan fyddo arno newyn.
31 Ond os delir ef, rhaid iddo dalu yn saith
ddyblyg neu fe orfydd iddo roi cymmaint oll ag
a feddo efe yn ei dŷ.
32 Ond y neb a wnel odineb â benyw, sydd
heb synnwyr, y neb ai gwnel a lygra ei enaid
ei hun.
mSal.51, 8 33 m Clais, a gwarth a gaiff efe, ai gywilydd
Pen.5,9 ni ddeleir.
Barn.16, 19 34 Cynddaredd yw eiddigedd gŵr, am hynny
1Bren.11 4,5 nid erbyd efe yn nydd dial.
35 Ni bydd ganddo bris am iawn ac ni fodloneir ef, er rhoi rhoddion lawer.

## PEN. VII.

*Cyngor yn erbyn dichellion puttain.*

n2Tim.2 22 FY n mab cadw fyng-eiriau, a chuddia fyng-
1Pedr 2, 11 orchymynnion gyd â thi.
2 Cadw fyng-orchymynnion, a byw fyddi; a'm
cyfraith fel cannwyll dy lygaid.
3 Rhwyma hwynt yng-hylch dy fysedd, ac
scrifenna hwynt ar lech dy galon.
oMat.12, 49 4 o Dywet wrth ddoethineb, Fy chwaer wyt
ti, a galw wybodaeth yn gares.
p 1 Tim. 4,1,8 5 p Fel i'th gadwer oddi wrth y wraig ddieithr,
a rhag y fenyw a'r ymadrodd gwenieithus.
6 Canys a mi yn ffenestr fy nhŷ, mi a edrychais drwy fy ffenestr.
q 2 Tim. 3,6 7 q Ac mi a welais ym mysc y ffyliaid [ïe] mi
a ganfum ym mhlith y plant, ddyn ieuangc
annealltus,

8 r Yn ymdaith drwy yr heol, ger-llaw ei r1Thes.5 22
chongl hi, ac yn myned ar hyd y ffordd iw
thŷ hi,
9 s Yn y cyfnos gyd a'r hwyr pan oedd hi yn s Iob 24, 15
nos du ac yn dywyll. 1Thes.5, 7
10 t Ac wele fenyw yn cyfarfod ag ef, a chanthi tZec.13,4
ymddygiad puttain, ac â chalon ddichellgar. 1Thes.2, 9
11 u Siaradus anufyddgar yw hi, ei thraed ni u1. 1 Tim. 5, 13 Tit.2,5
arhôant yn ei thŷ.
12 v Weithie yn y drws, weithie yn yr heolydd, vEph.4, 14
ac yn cynllwyn ym mhob congl.
13 w Hi a ymafaelodd ynddo, ac ai cussanodd, wPres 27
ac yn ddigywilydd hi a ddywedodd wrtho ef: Esa.3,9
14 x [Yr oedd] arnafi aberthau hedd, heddyw xDat.8, 2
y cywirais fy addunedau:
15 y Ac am hynny y daethum allan i gyfarfod yZec.11, 5
â thi, i chwilio am dy wyneb, a chefais afael
arnat.
16 z Mi a drwsiais fyng-wely â chortinau ac â zDat.4, 23
thasselau, a llieiniau o lin yr Aipht.
17 Mi a fwgdarthais fyng-hyfugl â myrh, aloes,
a synnamon.
18 Tyret, moes ymlenwi o garu hyd y boreu,
gwnawn yn llawen a'r faswedd.
19 a Canys nid yw fyng-wr gartref, efe aeth i aLuc.8, 12
ffordd bell.
20 Efe a gymmerth goded o arian yn ei law,
efe a ddaw adref ar y dydd ammodol.
21 Hi ai troes ef, ai haml eiriau melysion, ac
â gweniaith ei gwefusau hi ai gyrrodd ef.
22 b Efe ai canlynodd hi ar frys, fel yr ych yn bAct.14, 13
myned i'r lladdfa, ac fel ynfyd yn myned i'r Pen.2, 5
cyffion iw gospi:
23 Hyd oni ddryllio yr saeth ei afi ef, fel yr
aderyn yn pryssuro i'r fagl, heb wybod ei bod
yn erbyn ei einioes ef.
24 Am hynny (fy meibion) gwrandewch arnafi,
ac ystyriwch wrth eiriau fyng-enau.
25 Na thuedded dy galon at ei ffyrdd hi, na
chyrwydra ar hyd ei llwybrau hi.
26 Canys llawer a gwympodd hi yn archolledic, gwŷr grymmus oll a laddodd hi.
27 c Ffyrdd i uffern [yw] ei thŷ hi, [yn] descyn cNeh.8, 3
i stafelloedd angeu. Iob 5,11

## PEN. VIII.

*Doethineb yn dangos ei godidogrwydd.*

OND d yw doethineb yn gweiddi, ac ond yw dIoan.1, Esa.58,1
deall yn llefain?
2 Ym mhen lleoedd uchel, ger llaw'r ffordd,
ac ym mhen llwybrau lawer y mae hi yn sefyll.
3 e Ger-llaw pyrth y dref, yn ymyl drysau y e Ioan 7, 37
mae hi yn llefain,
4 f Ha wŷr ardderchog arnoch chwi yr wyfi fSal.49,1
yn galw, ac at feibion dynnion yr wyfi yn
derchafu fy llais.
5 g Ha ynfydion deallwch gyfrwysder, a chwi g1Tim.1 5

wŷr anghall troiwch ymma eich calon i ddeall.
h Col. 1, 26 6 h Gwrandewch, canys myfi a draethaf i
2 Cor. 2, 17 chwi bethau ardderchog, mi a agoraf fyng-
wefusau, ac a lefaraf iniondeb.
iSal. 12,6 7 i Canys fyng-enau a draethant wirionedd,
ffiaidd gan fyng-wefusau ddrygioni.
8 Holl eiriau fyng-enau ydynt gyfiawn, nid
oes ynddynt, na gŵyrni, na thrawsedd.
jMat. 13, 11 9 j Y maent hwy oll yn amlwg i'r neb a dde-
allo, ac yn iniawn i'r rhai a chwennychent
wybodaeth.
k Iago 1, 5 10 k Derbynnwch fy addysc, ac nid arian, a
Iob 6, 27 gwybodaeth o flaen aur etholedig.
Iob28,15 11 l Canys gwell yw doethineb na gemmau,
nid oes hyfrydwch cyffelyb iddi.
m1Cor. 1, 24 12 m Myfi doethineb wyf yn glynu wrth gall-
Dat. 1,1 ineb: yr ydwyf yn cael gwybodaeth, a chyngor.
Iago 3,10 13 Ofn yr Arglwydd [yw] casau drygioni:
balchder a thraha, a ffordd y drygioni, a'r genau
trawsion sydd gâs gennifi.
oHeb. 1, 3 14 o Mi pie cyngor, a pherffeithrwydd, deall
ydwyfi, mi pie nerth.
o Dat. 2, 21 15 o Drwofi y teyrnasa brenhinoedd, ac y barna
y pennaethiaid gyfiawnder.
p Iob 12, 21 16 p Drwofi y rheola tywysogion a phendefig-
ion, a holl farn-wyr y ddaiar.
q1Sam. 2, 30 17 q Y neb a'm carant a garaf inne, a'r neb am
Ioan14,21 ceisiant yn foreu a'm cânt.
Sal. 91. 14 18 r Gennifi y mae cyfoeth, ac anrhydedd, golud
r Mat. 6, 33 parhaus, a chyfiawnder.
s Gal. 5, 22 19 s Gwell yw fy ffrwyth i nag [aur, ïe] nag
[aur] coeth, a'm cynnyrch sydd well na'r arian
detholedig.
tIoan 10, 3 20 t Rhyd ffordd cyfiawnder i'th arweiniaf ar
hyd canol llwybrau barn.'
21 Mi a baraf i'r rhai a'm carant berchen-
nogi'r peth a beru byth: ac mi a lanwaf eu
tryssorau.
nIoan1,1 22 u Yr Arglwydd a'm meddiannodd i yn
Heb. 1, 3 nechreuad ei ffordd, cyn ei weithredoedd, a
chyn un amser.
23 Cyn y byd i'm heneiniwyd, cyn y dech-
reuad, cyn gwneuthuriad y ddaiar.
24 Pryd nad oedd dyfnder i'm cenhedlwyd,
cyn bod ffynhonnau yn llawn o ddyfroedd.
25 Cyn sylfaenu y mynyddoedd, ac o flaen y
bryniau i'm cenhedlwyd.
26 Cyn gwneuthur o honaw ef y ddaiar, na'r
meusydd, na dechreuad llwch y byd.
vHeb. 1, 3 27 v Pan baratodd efe y nefoedd yr oeddwn i
Col. 1,16 yno: pan amgylchodd efe wyneb y dyfnder:
28 Pan gadarnhaodd efe y cwmylau uwch ben,
a phan flurfiawdd efe ffynhonnau y dyfnder,
29 Pan roddes efe ei ddeddf i'r môr, ac i'r
dyfroedd, fel na thorrent orchymyn ei enau ef,
pan seiliodd efe y ddaiar,

30 w Yna yr oeddwn i gyd ag ef yn magu wIoan 1, 1
[pob peth] yn ddaintaeth beunyddol, ac yn Mat. 3, 17
ymlawenhau ger ei fron ef bob amser.
31 x Ac yn llawenychu o amgylch ei ddaiar xSal.16,3
ef, ac a'm daenteithion yn llawenhau meibion
dynnion.
32 y Yr awron (O feibion) gwrandewch arnaf, ySal.119, 1, 2
canys gwyn eu byd a gadwant fy ffyrdd i.
33 Gwrandewch addysc, a byddwch ddoeth-
ion, nac ymwrthodwch â hi.
34 z Gwyn ei fyd y dyn a wrandawo arnaf, ac z Luc 10, 16 a 10,39
a wilio yn ddyfal beunydd fy nrysau, gan
warchod pyst fy mhyrth i.
35 Canys y neb a'm caffo i, a gaiff fywyd, ac
a feddianna ewyllys da yr Arglwydd.
36 a Onid y neb a becho yn fy erbyn a dreisia aRhuf.1, 30
ei enaid: fy holl gaseion a garant angeu. Sal.109,17

## PEN. IX.

*Y modd y mae doethineb yn gwahodd atti. A'r gwatwar-wr yn gwrthod addysc. Daioni ofn Duw. A digywilydd-dra gwraig ddrwg.*

DOETHINEB b a adailadodd ei thŷ, ac a bMat.16, 18
naddodd ei saith golofn. 1Pedr 2, 5
2 c Hi a laddodd ei hanifeiliaid, hi a gym- Mat. 16, 18
myscodd ei gwîn, ac a huliodd ei bwrdd.
3 d Hi a yrrodd ei llawforwynion, ac a alwodd cEsa. 25, 6
oddi ar fannau uchel y ddinas [gan ddywedyd,] dRhuf.10 15
4 e Pwy bynac sydd annichellgar, deued ym- 2 Cor. 5, 20
ma: ac wrth yr annoeth y mae hi yn dywedyd, eMat.11, 25
5 f Deuwch, a bwyttewch o'm bara, ac o'r fMat.11, 28
gwîn a gymmyscais: Ioan 6,27
6 g Gwrthodwch ffolineb, a byddwch fyw, a gSal 119 115
rhodiwch yn ffordd deall.
7 h Yr hwn a geryddo watwar-wr a gaiff wrad- h Luc16, 14
wydd, a'r hwn a feio ar y drygionus, a gaiff anaf.
8 i Na cherydda watwar-wr rhag iddo dy iMat.7,6
gasau, cerydda y doeth, ac efe a'th gâr di. Sal. 141,5
9 j Dyro [rybudd] i'r doeth, ac efe fydd doeth- jMat. 13, 12
ach, dysc y cyfiawn, ac efe a chwanega ei
ddysceidiaeth.
10 k Dechreuad doethineb yw ofn yr Ar- kSal. 111 10
glwydd, a gwybodaeth [mewn pethau] sanct-
aidd yw deall.
11 Canys drwofi yr amlheuir dy ddeddfau, ac
yr estynnir blynyddoedd dy enioes.
12 l Os doeth fyddi, doeth fyddi i ti dy hun, ac lIob34,6, 7
os gwatwar-wr fyddi, ty di dy hun ai dygi.
13 m Gwraig ffol a fydd siaradus, anghall, ac m 1Tim. 1, 6, 7
ni wyr ddim:
14 n Eithr hi a eistedd ar ddrws ei thŷ, ar nDat. 18, 7
faingc mewn lleoedd uchel yn y ddinas,
15 o I alw atti y neb a fyddant yn myned heibio, oMat.24, 4
y neb a rodiant yn iniawn [gan ddywedyd,]
16 Pwy bynac sydd ehud troed ymma, a
phwy bynac sydd ddisynnwyr: ac hi a ddywed
wrtho ef,

p2Pedr2 1 17 ᵖ Dyfroedd lledrad ydynt felus, a bara cudd sydd beraidd.

q2Pedr2 1. 2 1Tim.5,6 18 ᑫ Ni wyr efe mai meirw yw y rhai sydd yno, a bod ei gwahodd-wyr hi yn nyfnder uffern.

## PEN. X.

DIHAREBION Salomon. Mab doeth a lawenha ei dad, a mab ffol a dristha ei fam.

r Luc 12, 19 Dan.4,24 2 ʳ Ni thyccia tryssorau drygioni ond cyfiawnder a wared rhag angeu.

s Sal. 34, 11 a37,25 3 ˢ Ni edu yr Arglwydd i enaid y cyfiawn newynu: ond efe a chwâl ymmaith gyfoeth y drygionus.

4 Y neb a weithio â llaw dwyllodrus fydd tlawd: ond llaw y rhai llafurus ai cyfoethoga hwynt.

5 Mab synhwyrol yw yr hwn a gascl amser haf: ond mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsc amser cynhaiaf.

t Sal. 1, 3 Ester 7,8 6 ᵗ Bendithion a fyddant ar ben y cyfiawn, ond trawsedd a gâe ênau y drygionus.

u Sal. 112 6 Preg. 8, 10 7 ᵘ Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedic, ond enw y drygionus a bydra.

v 3 Ioan 10 8 ᵛ Y galon ddoeth a dderbyn y gorchymynnion, ond y ffôl ai blina ai wefusau ei hun.

w Esa. 38 15 Mat.27,3 5 9 ʷ Y neb a rodio yn ddiragrith a rodia yn ddiogel, ond y neb a gam drŷ ei ffyrdd a fydd hynod.

10 Y neb a amneidio ai lygad a bair flinder, a'r ffôl ei wefusau ai blina ei hunan.

x Sal. 27, 30, 31 11 ˣ Ffynnon bywyd yw genau y cyfiawn, ond trawsedd a gae enau y drygionus.

y Iago 5, 20 12 ʸ Casineb a gyfyd cynnen, ond cariad a guddia bob camwedd.

z Luc 4, 22 Mica 6,7 13 ᶻ Yng-wefusau y synhwyrol y ceir doethineb, a gwialen [a wedde] i gefn yr angall.

a Mat. 13, 44 Esa. 50,4 14 ᵃ Y doethion a storiant ŵybodaeth, ond dinistr sydd gyfagos i enau y ffôl.

b Sal.52,7 Iob 31,24 1 Tim. 6, 17 15 ᵇ Cyfoeth y cyfoethog yw caer ei gadernid ef, ond ofn y tlodion yw eu tlodi.

c Rhuf.8, 28 Rhuf. 6, 23 16 ᶜ Gwaith y cyfiawn sydd tu ag at fywyd, ond gwaith y drygionus sydd tu ag at bechod.

d Mat. 7, 13, 14, 24 17 ᵈ Ffordd i fywyd yw'r neb a gadwo addysc, ond y neb a wrthodo [gospedigaeth] sydd yn cyfeiliorni.

e Sal. 15,3 18 ᵉ Gwefusau celwyddog a guddiant gâs, a'r neb a ddywed enllib sydd ffôl.

f Iago 3,2 19 ᶠ Yn amlder geiriau ni phalle fod pechod, ond y neb a attalio ei wefusau sydd synhwyrol.

g Mat. 12, 35 Ier. 17, 9 20 ᵍ Tafod y cyfiawn sydd arian detholedig, ond calon y drygionus ni thal ddim.

h 2Cor. 6, 10 21 ʰ Gwefusau y cyfiawn a borthant lawer, ond y ffyliaid o ddiffic synwyr a fyddant feirw.

i Sal. 27,1 2 2Bren. 5, 27 22 ⁱ Bendith yr Arglwydd a gyfoethoga, ac ni ddwg orthrymder gyd â hi.

23 Hyfryd gan ffôl wneuthur drwg, a chan wr synhwyrol [ymarfer] â doethineb.

24 ʲ Y peth a ofno y drygionus a ddaw iddo, ond y peth a ddeisyfio y rhai cyfiawn [Duw] ai rhydd iddynt. j Iob 15,21 Mat. 5, 6

25 ᵏ Ni saif y drygionus mwy na'r tro-wynt yn myned heibio: ond y cyfiawn fydd fel sylfaen a beru byth. k Sal. 37, 36 a 15,5

26 ˡ Megis finegr i'r dannedd, a mŵg i'r llygaid, felly y bydd y diog i'r neb ai gyrrant [i un-lle] l Heb. 5, 11

27 ᵐ Ofn yr Arglwydd a chwanega y dyddiau: ond blynyddoedd y drygionus a fyrheir. m Sal. 55, 23 Iob 22,16

28 ⁿ Gobaith y cyfiawn yw llawenydd, ond hyder y drygionus a dderfydd am dano. n Rhuf.5 5 Iob 8, 13

29 Ffordd yr Arglwydd [sydd] gadernid i bob dŷn perffaith: a braw i'r rhai a wnant anwiredd.

30 ᵒ Y cyfiawn nid yscog byth, ond y drygionus ni phresswyliant y ddaiar. o Sal. 125, 2

31 Genau y cyfiawn a draetha ddoethineb yn ddigonol, a'r tafod anwir a dorrir ymmaith.

32 ᵖ Gwefusau y cyfiawn a gânt ŵybodaeth ewyllys da [Duw,] ond genau'r drygionus a [gânt wŷbod] eu trawsedd. p Sal. 40, 8 a 145,19

## PEN. XI.

CLORIANNAU anghywir ydynt ffiaidd gan yr Arglwydd, ond pwys cymmwys sydd fodlon ganddo ef.

2 ᑫ Pan ddel balchder, fe a ddaw gwarth, ond gyd a'r gostyngedig y mae doethineb. q Dan. 4, 31 Luc 1,51

3 ʳ Perffeithrwydd yr iniawn ai tywys hwynt, ond trawsedd yr anffyddlonniaid ai difa hwynt. r Sal. 55, 23

4 ˢ Ni thyccia cyfoeth yn nydd digofaint, ond cyfiawnder a wared rhag angeu. s Dat. 18, 15

5 Cyfiawnder yr iniawn ai hyfforddia ef, ond o achos ei ddrygioni y syrth y drygionus.

6 ᵗ Cyfiawnder y cyfiawn ai gwared hwynt, ond y rhai anffyddlon a ddelir yn eu drygioni. t Preg. 10 8

7 Pan fyddo marw y drygionus, fe a ddarfu am ei obaith ef, ai obaith gadarn a gyfergollir.

8 Y cyfiawn a waredir o gyfyngder, a'r drygionus a ddaw yn ei le ef.

9 ᵘ Y rhagrithiwr ai enau a lygra ei gymmydog, ond y cyfiawn a waredir drwy [ei] ŵybodaeth. u Act. 20, 30 1 Bren 22 22

10 ᵛ Yr holl ddinas a ymlawenhâ o herwydd llwyddiant y cyfiawn: a phan gyfergoller y drygionus y bydd gorfoledd. 2 Pedr 3, 17, 18 v Dat. 11 15 Dat. 19,1

11 Trwy fendith y cyfiawn y derchefir y ddinas, ond trwy enau y drygionus y dinistrir hi. w Iob 22, 30 2 Sam. 20, 1

12 ˣ Y neb a ddiystyro ei gymmydog ynfyd yw, ond y synhwyrol a daw a son. x 1 Cor. 13 4

13 ʸ Yr hwn a rodia ag athrod a ddatguddia gyfrinach, ond y ffyddlon ei galon a geidw beth yn gyfrinachol. y Neh. 6, 17

14 ᶻ Lle ni byddo callineb y bobl a syrthiant: ond lle y byddo llawer o gyngor-wŷr y bydd iechydwriaeth. z 1 Bren. 12, 8

15 Dryllir yn ddryllian y neb a fachnio dros
ddieithr-ddyn: ond y neb a gasao fachniaeth
fydd diofal.
16 Gwraig rasol a gaiff afael ar anrhydedd,
fel y caiff y gallnog afael ar gyfoeth.
aMat.7,7 17 a Gŵr trugarog a fydd da wrth ei enaid ei
a 25, 34 hun: ond yr hwn a fiino ei gnawd ei hun sydd
greulon.
b1Bren. 18 b Y drygionus a wna waith twyllodrus, ond
18, 27. Gal. 6, 9 i'r neb a hauo gyfiawnder y bydd gwobr siccr.
cMat.7, 19 c Fel yr arwain cyfiawnder i fywyd: felly,
dilyn drygioni a dywys i angeu.
dLuc 16, 20 d Ffiaidd gan yr Arglwydd y neb ydynt
Sal. 51, 6 gyndyn eu calonau, eithr cymmeradwy ganddo
ef yw y rhai sy berffaith yn eu ffyrdd.
21 Er maint fyddo cymmorth y drygonus ni
bydd yn euog: ond hâd y cyfiawn a waredir.
22 Fel modrwy aur yn nhrwyn hŵch yw ben-
yw lân heb ddeall.
Sal.119, 23 e Deisyfiad y cyfiawn sydd ar ddaioni yn
unic: ond gobaith y drygionus sydd ddigter.
24 Rhyw un a wascar ei dda, ac a gyfoethogir
yn fwy: a rhyw un arall a arbed ei dda, ac a
syrth i dlodi.
fIob 29, 25 f Y gŵr hael a gaiff ddigon: a'r neb a
Mat. 5,7 ddwfrhao a ddwfrheir.
26 Y neb a guddio ei ŷd, y bobl ai melldithia:
ond bendith a fydd ar ben y neb ai gwertho.
27 Y neb a geisio ddaioni a enill ewyllys da:
ond y neb a geisio ddrwg, iddo [ei hun] y daw.
gSal.52,7 28 g Y neb a roddo ei goel ar ei gyfoeth a syr-
1Tim.6, thia: ond y rhai cyfiawn a flodeuant megis
cangen.
hGen.34 29 h Y neb a flino ei dy ei hun a berchennoga
y gwynt: a'r ffol a wneir yn was i'r synhwyrol.
1Cor.10, 30 i Ffrwyth y cyfiawn sydd megis pren y
bywyd: a'r neb a enillo eneidiau sydd ddoeth.
Sal. 94, 31 j Os y cyfiawn a gospir ar y ddaiar hon:
1Pedr 4, pa nad mwy y drygionus ar pechadur?
Sal.32,9

## PEN. XII.

Y NEB a garo addysc a gar wybodaeth:
ond y neb a gasao gerydd anifeilaidd yw.
Ester 3 2 k Gŵr da sydd gymeradwy gan yr Arglwydd:
ond y gwr sceler a ddamna efe.
Ioan 10, 3 l Ni chadarnheir dyn drwy ddrygioni: ond
gwraidd y cyfiawn ni yscoga.
4 Gwraig rymmus sydd goron iw gŵr: ond y
wradwyddus sydd lwgr yn ei escyrn ef.
aMat 23 5 m Meddyliau y cyfiawn sydd gyfiawn: a dich-
1Sam. 2, 9 ellion y drygionus sydd dwyllodrus.
Ester7,2 6 n Geiriau y drygionus sy yn cynllwyn am
Sal.37, waed: ond genau yr iniawn ai gwared hwynt.
Mat7,25 7 o Duw a ddifetha y drygionus, fel na bydd-
Mat. 7, ant hwy: ond teulu y cyfiawn a saif:
1Sam.25, 17 8 p Yn ol ei ddeall y canmolir gŵr: ond gŵr
trawd ei galon a ddiystyrir.

9 q Gwell yw'r hwn ai cydnebyddo ei hun yn
wael, ac sydd yn was iddo ei hun: na'r ffros-
tiwr yr hwy fydd arno eisieu bara. q1Cor.15, 9
10 r Y cyfiawn a fydd ofalus am ei anifail: r1 Sam. 11, 2
ond tosturiaeth y drygionus sydd greulon.
11 Y neb a lafurio ei dir a ddigonir o fara: ond
y neb a ganlyn ofer-wŷr anghall yw.
12 s Y drygionus sydd yn deisyf rhwyd dry- s1Cor.10
gioni: ond gwreiddin y cyfiawn a rydd [ffrwyth].
13 t Drwy ddrygioni ei wefusau y meglir y tDan. 6, 24
drygionus: ond y cyfiawn a ddiangc allan o
gyfyngder.
14 u Trwy ffrwyth ei enau y digonir gŵr a uEsa. 3, 11
daioni: a dyn a dderbyn daledigaeth yn ol ei
weithredoedd.
15 v Ffordd yr ynfyd sydd iniawn yn ei olwg vLuc 18, 11
ei hun: ond y neb a wrandawo gyngor sydd gall. 2Tim. 3, 15
16 w Mewn un dydd y dengys ynfyd ei ddigter: w1Bren. 19, 1
ond y call a guddia gywilydd. Iago.1.19
17 x Y neb a ddywedo'r gwir a ddengys gy- xRhuf. 1, 18
fiawnder: ond gau dyst [a draetha] dwyll.
18 y Rhyw ddyn a ddywed eiriau fel brath y1 Sam. 22, 9
cleddyf: ond tafod doethion sydd feddiginiaeth.
19 z Gwefus gwirionedd a saif byth: ond tafod zZec. 1,5 6
celwyddog ni saif funud awr. Sal. 52, 5
20 a Dichell sydd yng-halon y rhai a ddych- aMat.5,9
ymmygant ddrwg: ond i gynghor-wyr heddwch
y bydd llawenydd.
21 b Ni fwrir y cyfiawn i ddim blinder: ond y bRhuf.8, 21 a 2, 5
drygionus a lenwir a drwg.
22 c Ffiaidd gan yr Arglwydd wefusau twyll- cEzec.18 9
odrus: ond y rhai a wnant yn ffyddlon a ryng-
ant fodd iddo ef.
23 Gŵr pwyllog a gudd wybodaeth: ond
calon ffyliaid a gyhoedda ffolineb.
24 d Llaw'r diysceulus a deyrnasa: a llaw'r dBarn.1, 30
twyllodrus a dal deyrn-ged.
25 e Gofid yng-halon gŵr a bar iddi grymmu: eGen.47, 9
ond gair da ai llawenha. Mat. 14, 27
26 f Y cyfiawn a ragora ar ei gymmydog: ond fSal.73,3
ffordd y rhai drygionus ai twylla hwynt.
27 g Ni rostia y twyllodrus mo'r peth a hel- gIob 27, 16
iodd: ond y dyn diysceulus a fwynha gyfoeth Pen. 15, 16
gwerthfawr.
28 Yn ffordd cyfiawnder y mae bywyd: ac
yn ei llwybrau hi nid oes marwolaeth.

## PEN. XIII.

MAB h doeth [a wrendy] ar athrawiaeth ei h1Sam.2 25
dad: ond gwatwar-wr ni wrendu ar
gerydd.
2 i Gŵr da a fwynha ffrwyth ei enau ei hun: iMat. 12, 37
ac enaid yr anghyfiawn [a gaiff] ffrwyth traw- Mat.27,3 4, 5
sedd.
3 j Y neb a geidw ei enau a geidw ei enaid: jSal.39,4 Ezec. 16, 25
ond y neb a estynno ei wefusau a ddinistrir.
4 k Enaid y diog a ddeisyf, ac ni chaiff ddim: k2Cor.8,

ond enaid y diysceulus a ddigonir.
l Rhuf 12. 9 5 [l] Câs gan y cyfiawn eiriau celwyddog: ond
Sal. 1, 4 [celwydd] a wna'r drygionus yn ffiaidd, ac ai
cywilyddia ef.
m Sal. 25, 21 6 [m] Cyfiawnder a geidw y perffaith yn ei ffordd:
ond annuwioldeb a ddymchwel y pechadur.
7 Rhyw un a ymffrostia ei fod yn gyfoethog,
ac heb ddim ganddo: ac arall ei fod yn dlawd
a chyfoeth lawer iddo.
n 1 Bren. 20, 34 8 [n] Iawn am einioes gŵr yw ei dda: ond y
tlawd ni chlyw gerydd.
o Preg. 7, 6 9 [o] Goleuni y cyfiawn a fydd disclaer: ond
Iob 18, 5 cannwyll y drygionus a ddiffoddir.
10 Drwy falchedd yn unic y cyffru cynnen:
ond gyd a'r pwyllog y mae doethineb.
p 3 Ioan Adn. 9, 10 11 [p] Golud yr hwn a gesclir drwy anwiredd
Ier. 17, 11 a ddiflanna: ond y neb a gasclo â llaw [gywir]
2 Bren. 4, 5 a chwanega ei [gyfoeth.]
q 1 Sam. 27, 1 12 [q] Gobaith diweddar a wanhâ'r galon: ond
Ioan 16, 21 prenn y bywyd yw'r deisyfiad pan ddel i ben.
r 2 Cron. 35, 36 13 [r] Yr hwn a ddirmygo'r gair, a ddifethir oi
blegit: ond yr hwn sydd yn ofni y gorchymyn
a obrwyir.
s Ioan 14, 6 14 [s] Cyfraith y doeth [sydd] ffynnon y bywyd,
2 Sam. 22, 6 i gilio oddi wrth faglau angeu.
t 1 Cor. 13, 4 15 [t] Deall da a ddyrn ras: ond ffordd y dir-
1 Sam. 25, 17 myg-wyr [sydd] yn galed.
u Sal. 112, 5 16 [u] Pob call a wna [bethau] trwy wybodaeth:
ond yr ynfyd a draetha ynfydrwydd.
2 Sam. 16, 22 17 Cennad annuwiol a syrth i ddrygioni: ond
cennad-wr ffyddlon [sydd] iechyd.
v 2 Cron. 25, 16 18 [v] Tlodi a gwradwydd [sydd] i'r hwn a
wrthodo addysc: ond yr hwn a gadwo gerydd
1 Sam. 2, 30 a anrhydeddir.
w 2 Tim. 4, 7, 8 19 [w] Dymuniad wedi ei gyflawni sydd hyfryd
Ex. 8, 26 gan yr enaid: ond ffiaidd gan ynfydion gilio
oddi wrth ddrygioni.
20 Yr hwn a rodio gyd â doethion fydd doeth:
ond yr hwn sydd gyfaill i ynfydion a gystuddir.
x 1 Tim. 6, 9 21 [x] Drygfyd a ganlyn bechaduriaid: ond
[Duw] a dal ddaioni i'r rhai cyfiawn.
y Iob 27, 16 22 [y] Y [gŵr] daionus a ranna etifeddiaeth i
feibion [ei] feibion: a golud y pechadur a rodd-
wyd i gadw i'r cyfiawn.
z Esa. 28, 26 23 [z] Llawer o ymborth [sydd] ym maes y
tlodion: ond [maes] heb iawn drefn [fydd]
anffrwythlon.
a 2 Sam. 3, 13 24 [a] Yr hwn a arbedo y wialen, sydd yn casau
ei fab: ond yr hwn ai câr ef ai cerydda ef mewn
amser.
25 Y cyfiawn y fwytta hyd oni ddigonir ef:
ond bol yr annuwolion fydd mewn eisieu.

## PEN. XIV.

b Ruth 4, 11 GWRAIG [b] ddoeth a gynnal ei thŷ: ond y
1 Bren. 21 ffôlog ai destruwia ef ai dwylo.
c Act. 11, 21 Iob 12, 4 2 [c] Yr hwn sydd yn rhodio yn ei iniawnder
sydd yn ofni yr Arglwydd, a'r hwn sydd gyndyn
yn ei ffyrdd sydd yn ei ddirmygu ef.
3 [d] Yng-enau y ffôl y mae gwialen balchder: d 2 Ioan Adn. 9, 10
ond gwefusau y doethion ai ceidw hwynt.
4 [e] Lle nid oes mo'r ychen, gwag yw y preseb- e 1 Cor. 3, 9
au: ond llawer o gnwd [sydd yn dyfod] drwy Col. 1, 5, 6
lafur yr ŷch.
5 [f] Tyst gwirion ni ddywed gelwydd: ond f Act. 24, 5
gau-dyst a draetha gelwyddau.
6 [g] Y gwatwar-wr a gais ddoethineb, ac ni's g Act. 8
[caiff:] ond gwybodaeth sydd yscafn i'r hwn a Mat. 11, 29
fynno ddeall.
7 Dos di ymmaith oddi wrth ŵr ffôl, pan
wypech di nad [oes ganddo ef] wefusau gwy-
bodaeth.
8 [h] Doethineb y call [yw] deall ei ffordd ei h Ier. 6, 16 Luc 11, 19
hun: ond ffolineb y ffyliaid [yw] twyll.
9 [i] Y ffyliaid a hyfrydant mewn camwedd: i Sal. 11, 6
ond ym mhlith y rhai iniawn [y mae] ewyllys da.
10 [j] Y galon sydd yn gwybod chwerwder ei j 1 Sam. 19, 4
henaid ei hun: a'r dieithr ni chaiff fod yn gyf- Dan. 3, 9
rannog oi llawenydd hi.
11 [k] Tŷ yr annuwolion a ddinistrir: a phabell k Iob 8, 9, 10, 15
y rhai iniawn a flodeua. 2 Sam. 23, 4
12 [l] Y mae ffordd iniawn ger bron gŵr: ond ei l Ier. 7, 6
diwedd hi ffordd angeu. Preg. 11, 9
13 [m] Ie wrth chwerthyn y bydd blin ar y galon: m Dan. 5, 4, 5
a diwedd y llawenydd hwnnw [yw] tristwch.
14 [n] Y gwrthnysig o galon a gaiff ddigon oi Luc 6, 25 n Mat. 7, 5
ffyrdd ei hun: ond y gŵr daionus [a gilia] oddi Gal. 6, 8
wrtho ef.
15 [o] Yr ehud a goelia bob gair: a'r call a dde- o Eph. 4, 14
all ei gamrau. 1 Ioan 4, 1
16 [p] Y doeth sydd yn ofni, ac yn cilio oddi p 1 Sam. 2, 15
wrth ddrygioni: ond y ffôl sydd ddigllon, a Mat. 14, 4
diofal.
17 [q] Gŵr digllon a wna ffolineb: a châs yw'r q Iago 1, 19
gŵr dichellgar. Ester 5, 8, 9
18 [r] Y rhai ehud a etifeddant ffolineb: ond y r 1 Pedr 1, 13
rhai call a goronir o herwydd eu gwybodaeth. 3 Ioan 8
19 [s] Y rhai drygionus a ymostyngant ger bron s Esa. 60, 14
y daionus: a'r annuwiol ym mhyrth y cyfiawn.
20 [t] Y tlawd a gaseir, ïe gan ei gymmydog ei t Mica 7, 5
hun: ond llawer sydd yn caru y cyfoethog. Sal 73, 9
21 [u] Y pechadur a ddirmyga ei gymmydog: u Sal. 41, 1
ond gwyn ei fyd y trugarog wrth y tlawd.
22 Onid ydyw y rhai a ddychymmygant ddrwg
yn cyfeiliorni? eithr trugaredd a gwirionedd a
fydd i'r neb a ddychymmygant ddaioni.
23 Ym mhob llafur y mae rhyw elw: ond
mewn geiriau gweigion nid oes dim ond tlodi.
24 Coron y doethion yw eu cyfoeth: ond
ffolineb y ffyliaid sydd wir ffolineb.
25 Tyst ffyddlon a weryd eneidiau: ond y
twyllodrus a ddywed gelwyddau. v 1 Tim. 6, 18
26 [v] Yn ofn yr Arglwydd y mae gobaith

cadarn: ac iw blant ef y bydd diogelwch.
27 Ofn yr Arglwydd yw ffynnon y bywyd i
ddiangc rhag maglau angen.
wEx. 1,9 28 [w] Mewn amlder y bobl y bydd anrhydedd
y brenin: ac o ddiffig pobl y dinistrir y brenin.
29 Y diog i ddigofaint sydd yn llawn o syn-
wyr: ond y gŵr digllon a gyffru gynnen.
x Sal 18, 30 [x] Llawenydd y galon yw bywyd y cnawd:
19a112,10 ond cenfigen a bydra'r escyrn.
yMat.25, 31 [y] Y neb a wnelo gam a'r tlawd a gywilyddia
40 ei greawdwdd: ond y neb a drugarhao wrth yr
anghenus ai anrhydedda ef.
zDan. 4, 32 [z] Y drygionus a syrth yn ei ddrygioni ei
31 Sal.37,37 hun: ond y cyfiawn a obeithia ym mron marw.
a Sal. 37, 33 [a] Doethineb sydd yn gorphwys yng-halon
30 y call: ac ym mysc ffyliaid yr adweinir [ffol-
ineb.]
bIer. 22, 34 [b] Cyfiawnder a dderchafa y genhedlaeth:
15 Sal 73,8 ond [y mae] trugaredd [rhyw] bobl yn bechod.
cMat.24 35 [c] Ewyllys da'r brenin fydd ar ei was syn-
47 hwyrol: ond ei ddigofaint a fydd ar was
gwradwyddus.

## PEN. XV.

dBarn.8, ATEB [d] arafaidd a ddetry lid: ond gair garw
1. 1 Sam.25, a gyffru ddigofaint.
10 eEsa. 56, 2 [e] Tafod y synhwyrol a draetha wybodaeth
4 yn dda: ond genau y ffyliaid a dywallt ffolineb.
f2 Cron. 3 [f] Ym mhob lle y mae llygaid yr Arglwydd
16, 9 yn canfod y drygionus a'r daionus.
gSal. 52, 4 [g] Pren y bywyd yw tafod iach: ond y traw-
1 sedd yr hwn sydd ynddo ef sydd megis terfysc
gwynt.
hSal. 141 5 [h] Dyn ffol a ddiystyra addysc ei dad, ond y
5 neb a ddioddefo gerydd sydd gall.
iPhilem. 6 [i] Yn nhŷ'r cyfiawn y bydd mawr gyfoeth:
2 Iob20,15 ond am olud yr annuwiol y mae trallod.
j1Pedr4, 7 [j] Gwefusau y doethion a wascarant wybod-
11 Sal. 14, 4 aeth: ond calon y ffyliaid y peth nid yw iniawn.
k Can. 2 8 [k] Aberth yr annuwiol sydd ffiaidd gan yr
14 Arglwydd: ond gweddi'r iniawn sydd gymmer-
adwy ganddo ef.
l Tit 1,15 Mat 5, 6 9 [l] Ffordd yr annuwiol sydd ffiaidd gan yr
Arglwydd: ond efe a gâr y neb a ddilyn gyfiawn-
der.
m1Bren. 10 [m] Cerydd sydd flin gan y neb a dry oddi
22,8 ar y ffordd: a'r neb a gasao gospedigaeth a
fydd marw.
nIer.17 9 11 [n] Uffern a dinistr ydynt ger bron yr Ar-
glwydd: pa faint mwy calonnau plant dynnion?
oAmos5, 12 [o] Ni char y gwatwar-wr mo'r neb ai cer-
10 2Tim.4,3 yddo: ac ni ddaw ym mysc y doethion.
p2Cor.1, 13 [p] Calon lawen a wna wyneb siriol: ond
12 1 Sam. 1, drwy ddolur y tristeir y galon.
15 qAct. 17 14 [q] Calon y synhwyrol a ymgais a gwybod-
11 Esa.30 10 aeth: ond genau y ffyliaid a borthir â ffolineb.
15 Oll ddyddiau y tlawd ydynt flin: ond
gwledd oestadol yw calon lawen.
16 [r] Gwell yw ychydig gyd ag ofn yr Ar- r1Tim. 6
glwydd: na thryssor mawr â thrallod gyd ag ef. 6
17 Gwell yw pryd o ddail lle byddo cariad:
nag ŷch pascedig â chas gyd ag ef.
18 [s] Gŵr digllon a gyffru gynnen: ond gŵr sNum.12
dioddefgar a dyrr ymryson. 3
19 [t] Ffordd y diog sydd fel clawdd drain: ond tAmos 8,
ffordd yr iniawn sydd wastad. 5 Mat. 11,
20 Mab doeth a lawenha ei dad: ond dyn ffol 30
a ddiystyra ei fam.
21 [u] Ffolineb sydd hyfryd gan yr ynfyd: ond u Eph. 5
gŵr deallus a rodia yn iniawn. 15
22 [v] Ofer yw meddyliau ni byddo cyngor: ac vPreg. 4
mewn amlder cyngorwyr y sicrheir [meddwl.] 9 10
23 [w] Llawenydd fydd i ŵr o herwydd ymad- wPreg.8
rodd ei enau, ac O mor dda yw gair yn ei amser! 1 1Sam. 25
24 [x] Ffordd y bywyd sydd frŷ i'r synhwyrol, i 34 x Phil. 3
ochel uffern obry. 20
25 Yr Arglwydd a ddiwreiddia dŷ'r beilch-
ion: ond efe a gadarnha derfyn y weddw.
26 [y] Meddyliau'r annuwiol sydd ffiaidd gan yIer 4 14
yr Arglwydd: ond geiriau'r glan ŷnt beraidd. Sal.37 30 31
27 [z] Y neb a fyddo dra chwannog ei olwg a zEsa. 5 8
derfysca ei dŷ: ond y neb a gasao roddion Ier. 17 11
fydd byw.
28 [a] Calon y cyfiawn a fyfyria i atteb: ond a 1 Pedr
genau y drygionus a draetha ddrwg. 3 15
29 [b] Pell yw'r Arglwydd oddi wrth y rhai bSal 10 1
annuwiol: ond efe a wrendu weddi y cyfiawn. Mat 15 8 Rhuf8 26
30 [c] Llewyrch y llygaid a lawenha'r galon: a 27 c1Ioan12.
henw da a frassa'r escyrn.
31 [d] Y glust a wrandawo ar gerydd y bywyd, dPreg 12
a gaiff bresswylio ym mhlith y doethion. 11
32 Y neb a wrthodo addysc, a ddiystyra ei
enaid ei hun: ond y neb a wrandawo ar gerydd
a feddianna ddeall.
33 [e] Addysc doethineb yw ofn yr Arglwydd: e Ruth, 3
ac o flaen anrhydedd yr aiff gostyngeiddrwydd. 14 1 Sam 25

## PEN. XVI. 41

YM [f] meddiant dyn y mae meddyliau'r fSal 94 19
galon: ond ymadrodd y tafod sydd oddi Mat 10 19
wrth yr Arglwydd.
2 [g] Gŵr a dyb yn ei olwg ei hun fod ei holl g Luc 18
ffyrdd yn lan: ond yr Arglwydd a bwysa yr 11 1 Sam 16
ysprydion. 7
3 [h] Treigla dy holl weithredoedd ar yr Ar- h 1 Pedr
glwydd: a'th feddyliau a gyfarwyddir. 5 7 Phil 4 6
4 [i] Yr Arglwydd a wnaeth bob peth er ei iRhuf 11
fwyn ei hun: a'r annuwiol hefyd erbyn y dydd 36 Iob 21 3
drwg.
5 [j] Ffiaidd gan yr Arglwydd bob dyn uchel j2Cron25
galon: er maint fyddo ei gymmorth ni bydd efe 17 Pen11 21
dieuog.
6 [k] Drwy drugaredd a gwirionedd y dileuir k1Ioan 2
pechod; am hynny trwy ofn yr Arglwydd 2 Neh. 5 15

ymado oddi wrth ddrwg.

l Col 1 10 Iob 5 18 7 l Pan fydd ffyrdd gŵr yn rhyngu bodd i'r Arglwydd; efe a bar iw elynnion fod yn heddychol ag ef.

m Hab 2 9 13 8 m Gwell yw ychydig drwy gyfiawnder, na chnwd mawr drwy gam.

n Ier 10 23 9 n Calon dyn a ddychymmyg ei ffordd; ond yr Arglwydd a gyfarwydda ei gerddediad ef.

o 1 Pedr 4 11 Deut 17 20 10 o Bydded pwyll yng-wefusau'r brenin; rhag gwyro ei enau ef mewn barn.

p Lef. 19 36 11 p Pwysau a chlorian cywir yr Arglwydd ai pie; ei waith ef yw holl gerrig y gôd.

q Sal 45 6 12 q Ffiaidd yw i frenhinoedd wneuthur annuwioldeb: canys drwy gyfiawnder y cadarnheir yr orsedd.

r Sal 101 6 13 r Gwefusau y cyfiawn sydd gymmeradwy gan frenhinoedd, a'r brenin a gâr a draetho iniawndeb.

s Dat 16 16 Act 12 20 14 s Digofaint y brenin sydd megis cennad angeu; ond gŵr doeth ai bodlona hi.

t Sal 4 6 Deut 4 14 15 t Yn siriol wynebryd y brenhin y mae bywyd; ai ewyllys da ef sydd megis cwmylau glaw diweddar.

16 Cael doethineb, O mor well yw nag aur cloddiedig; a chael pwyll, mwy dymunol yw nag arian.

u Act 24 16 17 u Sarn y cyfiawn yw dychwelyd oddi wrth ddrwg: y neb a gadwo ei ffordd a geidw ei enaid.

18 Balchder sydd yn myned o flaen dinistr: ac uchelder yspryd o flaen cwymp.

19 Gwell yw bod yn ostyngedig gyd a'r gostyngedig: na rhannu'r yspail gyd a'r beilchion.

v Ier 17 7 20 v Y call yn ei fatter a ddaw i ddaioni: a'r neb a ymddyriedo yn yr Arglwydd, O gwyn ei fyd hwnnw.

w Iob 9 4 21 w Y doeth ei galon a elwir yn ddeallus, a melusder y gwefusau a chwanega ddysceidiaeth.

x Ier 10 8 22 x Ffynnon y bywyd yw deall iw pherchennog: ond addysc ffyliaid yw [ffynnon] ffolineb.

y Sal 37 30 23 y Calon y doeth a reola ei enau yn synhwyrol: a thrwy ei wefusau y chwanega addysc.

z Preg 12 10 Sal 119 103 a 51 8 24 z Geiriau teg ydynt megis dil mel, yn felus i'r enaid, ac yn iachus i'r escyrn.

25 Mae ffordd a dybir ei bod yn iniawn yngolwg gŵr; ond ei ddiwedd a dywys i farwolaeth.

a Esa 57 10 26 a Y dyn blin a bar flinder iddo ei hun; canys ei ymadrodd sydd yn troi arno ei hun.

b Sal 7 15 a 35 8 27 b Dyn i'r fall sydd yn cloddio drwg: ac ar ei wefusau yr erys efe fel tân poeth.

c Act 20 30 Rhuf 16 18 2 Pedr 2 1 2 28 Dyn cyndyn a bar ymryson; a'r athrodwr a naill tua dywysogion.

29 c Gŵr traws a huda ei gymmydog; ac ai tywys ar hyd ffordd nid yw dda.

30 Y neb a gaeo ei lygaid wrth ddychymmyg trawsedd, ac a friwa yn [fâu] ei eiriau a wna ddrwg.

31 Coron anrhydeddus yw henaint, os bydd hi mewn ffordd cyfiawnder.

32 d Gwell yw'r diog i ddigofaint na'r cadarn; a'r neb â reola ei yspryd ei hun sydd well na'r hwn â enillo ddinas. d Col 1 11 2 Bren 19 7

33 e Y coel-bren â fwrir i'r arffed: ond oddi wrth yr Arglwydd y mae ei holl lywodraethiad ef. e Ios 18 6 Matt 10 29

## PEN. XVII.

GWELL f yw tammed o [fara] sych, â llonyddwch gyd ag ef; na thŷ yn llawn o aberthau ag ymryson. f Diar 15 17

2 Gwas synhwyrol a feistrola ar fab gwradwyddus; ac a ranna'r etifeddiaeth rhwng brodyr.

3 g Y tawdd llestr sydd i'r arian, a'r bibell i'r aur, ond yr hwn â brawf y calonnau yw'r Arglwydd. g Mal 3 3 1 Pedr 1 7

4 h Y drygionus a wrendu ar wefus anwir; y celwyddog a rydd glust i dafod drwg. h Mal 3 2

5 i Y neb a watwar y tlawd sydd yn gwradwyddo ei greawdr ef: a'r neb â ymddigrifo mewn trallod ni bydd dieuog. i Iob 31 29 Obad 12

6 j Coron yr henaf-gwyr yw eu hwyrion; ac anrhydedd y plant yw eu tadau. j Iob 42 16 Ioan 8 39

7 k Anweddaidd yw i ffol ymadrodd rhagorawl; mwy o lawer i bendefig ymadrodd celwyddog. k 1 Sam 25 25

8 l Maen gwerth-fawr yw anrheg yng-olwg y dyn ai caro; â pha le bynnac y tro hi a ffynna. l 1 Sam 25 14

9 Y neb a guddia bechod, sydd yn ceisio cariad; ond y neb a adnewydda fai sydd yn naill tua tywysogion.

10 m Un senn a ddychryn y call yn fwy na phe baeddit y ffol gan-waith. m 1 Bren 13 4

11 n Y dyn terfyscus sydd ai fryd ar ddrwg yn unic; a chennad greulon a anfonir yn ei erbyn. n 2 Sam 20 1 2 Cor 11 7

12 o Gwell i ŵr gyfarfod ag arthes wedi difetha ei chenawon, nag a'r ffol yn ei ffolineb. o Hos 13 8

13 Y neb a dalo ddrwg dros dda; nid ymedu drwg ai dŷ ef.

14 p Pen y gynnen sydd megis yn agoryd argae: ac am hynny cyn rhedeg o honi yn rhy bell gad ymmaith ymryson. p 1 Thes 4 11

15 q Y neb a gyfiawnhao y drygionus ac a gondemnio y gwirion; cyn ffiaiddied gan yr Arglwydd y naill ar llall. q Exod 23 7 1 Bren 21 13

16 r Pa ham y bydd pris yn llaw'r ffol, ac yntef heb galon i berchennogi doethineb. r Esa 55 1 Deut 32 29

17 s Cydymaith a gar bob amser; ond gwir frawd a ymddengys mewn angen. s Ruth 1 16 Esther 4 14

18 Dyn heb pwyll a gynnig ei law i fachnio

dros ei gymmydog.
t Sal. 69, 30 19 [t] Y neb sydd hoff ganddo ymsennu sydd
Iago 3, 8 hoff ganddo bechod, a'r hwn sydd yn gwneuthur
ei ddrws yn uchel sydd yn ceisio niwed.
20 Y traws ei galon ni chaiff ddaioni: a'r hwn
sydd drofaus yn ei dafod a syrth i ddrwg.
21 Y neb a genhedlo ffol [a ennill] iddo ei hun
dristwch: ac ni bydd llawen tad yr ynfyd.
u Preg. 9, 7, 8 22 [u] Calon lawen a bar iechyd: ond meddwl
2 Cor. 2, 7 trwm a sych yr escyrn.
v 2 Bren. 5, 21 23 [v] Yr annuwiol a dderbyn rodd o fynwes, i
Ex. 23, 8 gamdroi llwybrau barn.
w Preg. 2, 14 24 [w] Doethineb sydd yn wyneb y deallgar:
Mat. 16, 3 ond llygaid y ffyliaid [a wibbiant] drwy gyrrau'r
byd.
25 Mab ffol a bar ddigllonedd i'w dad: a
chwerwder iw fam.
26 Hefyd nit da dirwyo'r cyfiawn: a baeddu
y penaethiaid [pan fyddant] ar yr iawn.
x Iago 1, 19 27 [x] Gŵr synhwyrol a attal ei ymadroddion:
a gŵr pwyllog sydd ymarhoeus ei yspryd.
y Iob 13, 5 28 [y] Y ffol tra tawo a son a gyfrifir yn ddoeth:
a'r neb a gaeo ei wefusau sydd bwyllog.

## PEN. XVIII.

Y NAILLTUOL a gais ei ddeisyfiad [ei
hun:] ac a ymmyr â phob peth.
z Amos 8, 5 2 [z] Y ffol nid hoff ganddo wybodaeth: ond
Mat. 3, 34 traethu ei feddwl ei hun a gar efe.
a 2 Thes. 2, 3, 4 3 [a] Wrth ddyfodiad y drugionus y daw diys-
1 Sam. 2, 30 tyrwch: a chyd â'r gwael gwradwydd.
b 1 Cor. 2, 7 4 [b] Geiriau yng-enau gŵr [ardderchawg] ynt
fel dyfroedd dyfnion: a ffynnon doethineb sydd
megis afon redegog.
c Iago 2, 1, 2 5 [c] Nit da derbyn wyneb yr annuwiol: gan
wneuthur cam a'r cyfiawn mewn barn.
d 2 Tim. 3, 8 6 [d] Gwefusau y ffol a ddechreuant gynnen; ai
enau a eilw am ddyrnodiau.
7 Genau y ffol ai dinistr ei hun; ai wefusau
ef ynt fagl iw enaid.
e Sal. 15, 3 8 [e] Geiriau'r athrod-wr ydynt megis archoll-
ion; ac a ddescynnant i gilfachau y bol.
f 2 Tim. 3, 3 9 [f] Y neb a fyddo diog yn ei waith sydd wir
frawd i'r llygrwr.
g 1 Sam. 17, 45 10 [g] Tŵr cadarn yw enw'r Arglwydd; atto y
Sal 61, 3 rhed y cyfiawn, ac efe a dderchefir yn ddiogel.
h Sal. 52, 7 11 [h] Cyfoeth y cyfoethog sydd iddo yn ddinas
gadarn, ac yn fur uchel yn ei dyb ei hun.
i Dan. 4, 31 12 [i] cyn dinistr y balchia calon gŵr; a chyn
anrhydedd yr aiff gostyngeiddrwydd.
j Ioan 7, 51 Ester. 5, 10 13 [j] Y neb a attebo beth cyn ei glywed, ffol-
ineb a chywilydd fydd iddo.
k Iob 1, 21 a 6, 4 14 [k] Yspryd gŵr a gynnal ei ddolur; ond ys-
pryd cystuddiedig pwy ai cyssura?
l Luc 10, 39 15 [l] Calon y pwyllog a berchennoga wybod-
aeth; a chlust y doethion a gais ddeall.
m 1 Sam. 25, 27 16 [m] Rhodd dyn a ehanga arno; ac ai dwg ef
ger bron penaethiaid.
17 [n] Y cyntaf yn ei hawl a dybbir ei fod yn n Act. 24, 2
gyfiawn; hyd pan ddelo ei gymmydog ai chwil- 2 Sam. 19, 26
io ef.
18 [o] Y coel-bren a wna i gynhennau beidio, o Ios. 14, 2
ac a athrywyn rhwng cedyrn.
19 [p] Anhaws yw ennill ewyllys da brawd pan p 1 Bren. 12, 16
ddigier, na dinas gadarn; ac ymryson rhwng Act. 15, 39
brodyr sydd megis trosol castell.
20 A ffrwyth genau gŵr y diwellir ei fol; ac
o ffrwyth y gwefusau y digonir pob dyn.
21 [q] Angeu a bywyd ydynt ym meddiant y q Mat. 12, 37
tafod; ac fel i bo hoff [ei arfer] ef y bwyteir ei
ffrwyth ef.
22 Y neb sydd yn cael gwraig [rinweddol]
sydd yn cael peth daionus; ac yn derbyn
ewyllys da gan yr Arglwydd.
23 [r] Y tlawd a ymbil; a'r cyfoethog a ettyb r Ex. 5, 2
yn erwin.
24 Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gar-
iad; canys nes yw gŵr caredig na brawd.

## PEN. XIX.

GWELL yw'r tlawd a rodio yn ddiragrith;
na'r [cyfoethog] yr hwn sydd draws ei
wefusau, ac yntef yn ffol.
2 [s] Yr enaid ni ŵyr ddrwg [dros dda] ar traed s Rhuf. 10, 2
rhy gyflym a bechant yr un ffunyd. Rhuf. 3, 15
3 [t] Ffolineb dyn ai try oddi ar y ffordd; ai t Act. 8, 28
galon a ddigia yn erbyn yr Arglwydd. Dat. 16, 9
4 [u] Cyfoeth a chwanega lawer o gefeillion; a'r u 2 Tim. 1, 15
tlawd a ddidolir oddiwrth ei gymmydog.
5 [v] Tyst celwyddog ni bydd dieuog; a llun- v Dan. 6, 24
iwr celwyddau ni ddiangc.
6 Llawer a ymbiliant o flaen pendefig; a
phawb sydd gefaill i'r hael.
7 [w] Holl frodyr y tlawd ai casânt ef; ïe ei gyf- w Sal. 55, 13
eillion ai gadawant; er maint a ymnheddo, ni
throant atto.
8 Y neb sydd gall a gâr ei enaid; ac a geidw
ddeall ér mwyn ennill daioni.
9 Tyst celwyddog ni bydd dieuog; a thraeth-
wr celwyddau a ddifethir.
10 [x] Nid gweddaidd i ffol lawenfyd; anwedd- x 1 Sam. 25, 36
eiddiach o lawer i was arglwyddiaethu ar ben- Preg. 10, 6, 7
uaethiaid.
11 [y] Synnwyr dyn a oeda ei ddigofaint; a y Iago 1, 19
harddwch yw iddo fyned tros fai. 1 Cor. 13, 3, 4
12 [z] Llid y brenin sydd megis rhuad llew ieu- z Ester 7, 8
angc; ond ei ewyllys da fydd megis gwlith ar Hos. 14, 5
las-wellt.
13 Mab ffol sydd orthrymder i'w dad; ac
ymserth gwraig sydd megis defni parhaus.
14 [a] Tŷ, a chyfoeth ynt etifeddiaeth y tadau; a 2 Cor. 12, 14
ond rhodd yr Arglwydd yw gwraig bwyllog.
15 Syrthni a bar drym-gwsc; ac enaid twyll-
odrus a newyna.

b Luc 11, 28 16 [b] Y neb a gadwo'r gorchymyn a geidw ei
enaid; a'r neb a ysceulusa ei ffyrdd fydd marw.
c Mat. 10, 42 a 25, 40 17 [c] Y neb a gymmero drugaredd ar y tlawd,
Heb. 6, 10 sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd; ai rodd
a delir iddo drachefn.
18 Cerydda dy fab tra fyddo gobaith; ac nac
arbeded dy enaid ef iw ddifetha.
d 2 Sam. 16, 5, 6 19 [d] Bydd dra digofus wrth faddeu bai; [gan
ddywedyd,] os ti ai gwaredi y waith honno, y
cospi [ef] amser arall yn fwy o lawer.
e Sal. 37, 37 20 [e] Gwrando gyngor a chymmer addysc, fel
y byddech ddoeth yn dy ddiwedd.
f Act. 5, 39 21 [f] Bwriadau lawer sydd yng-halon dyn:
Esa. 46, 10 ond cyngor yr Arglwydd a saif.
g 2 Sam. 15, 4 22 [g] Trugaredd yw'r peth a ddyle ddyn fwy-
2 Cor. 8, 12 af ei ddeisyfu: ond gwell yw'r tlawd na'r gŵr
Mat. 14, 42 celwyddog.
h 1 Tim. 4, 8 23 [h] Ofn yr Arglwydd a dywys i fywyd; a'r
Sal. 28, 1 neb fyddo llawn o honaw a erys heb i ddrwg
2, 3 ymweled ag ef.
24 Y dyn swrth a gudd ei law yn ei fynwes:
ac ni escyn hi at ei enau.
i Deut. 13, 11 25 [i] [Os] tarewi di watwarwr yna'r ehud fydd
cyfrwysach, a phau geryddech y deallus efe a
ddeall wybodaeth.
26 Mab gwradwyddus gwarthus a anrheithia
ei dad: ac a yrr ei fam ar grwydr.
j Hosea 10, 5 27 [j] Fy mab paid a gwrando yr addysc a bar
i ti gyfeiliorni oddi wrth eiriau gwybodaeth.
28 Tyst y fall a watwar farn: a genau'r dryg-
ionus a lwngc anwiredd.
k Mat. 25, 41 29 [k] Barn sydd barod i'r gwatwar-wyr: a
chleisiau i gefn y ffyliaid.

## PEN. XX.

GWATWARUS yw gwîn, a therfyscaidd
yw diod gadarn: pwy bynnac a sommer
ynddi nid yw ddoeth.
l Luc 19, 27 2 [l] Megis rhuad llew ieuangc yw ofn y brenin:
y mae pwy bynag ai cyffro ef i ddigofaint yn
pechu yn erbyn ei enaid ei hun.
3 Anrhydeddus yw i ŵr beidio ag ymryson:
ond pob ffol a fynn ymmyreth.
m Luc 16, 24 4 [m] Y diog'r hwn nid ardd o herwydd [oerder]
y gaiaf, a aiff i gardotta yr haf, pryd na byddo
dim ganddo ef.
n 2 Cor. 2, 15 5 [n] Megis dyfroedd dyfnion yw pwyll yng-
halon gŵr; etto'r gŵr call ai tynn allan.
o Mat. 6, 2 Luc 18, 11 6 [o] Llawer dyn a gyhoedda ei drugaredd, ond
Sal. 12, 1 pwy a gaiff ŵr ffyddlon?
p 2 Cor. 1, 12 7 [p] Plant y cyfiawn a rodio yn iniawn, gwyn
eu byd ei blant ar ei ol.
q Mat. 25, 31 8 [q] Brenin yn eistedd ar orsedd barn a wascar
ai lygaid bob drwg.
r 1 Ioan 1, 8 9 [r] Pwy a ddichon ddywedyd? Mi a garthais
1 Cor. 4, 4 fyng-halon; glan wyf oddi wrth fy mhechod.
10 Amryw bwysau ac amryw fesurau; ffiaidd
gan yr Arglwydd bob un o'r ddau.
11 [s] Bachgen a adweinir wrth ei ymddygiad; s Mat. 7, 16
ai pur ai iniawn yw ei waith,
12 [t] Yr Arglwydd a wnaeth bob un o'r ddau, t Mat. 13, 13
y glust i glywed, a'r llygad i weled. Ex. 4, 11
13 [u] Na char gyscu rhag dy fyned yn dlawd; u Rhuf. 12, 11
agor dy lygaid, fel i'th ddigonir a bara.
14 [v] Drwg, drwg, medd y prynwr; ond pan el v 1 Thes. 4, 6
o'r neilldu efe a ganmola ei hun.
15 [w] [Gwerth-fawr] yw aur a gemmau lawer; w Iob 28, 17
ond gwefusau gwybodaeth ydynt ddodrefn
gwerthfawroccach.
16 Cymmer wisc y gŵr a fachnio dros estron;
a chymmer wystl gan y neb a fachnio dros
estrones.
17 [x] Melus gan ŵr fara [trwy] ffalsedd; ond x Heb. 3, 13
o'r diwedd ei enau a lenwir a gro. Iob 20, 12
18 [y] Siccrha dy fwriadau drwy gyngor; a y Sal. 119, 24
thrwy gyngor diysceulus dos i ryfela. Luc 14, 31
19 [z] Y neb a ddadcuddia gyfrinach, y neb a z Rhuf. 16, 18
fyddo yn athrodwr, a'r ehud ei wefusau na
ymmyr â hwynt.
20 [a] Y neb a felldithio ei dad ai fam, ei gan- a Iudas 13
nwyll a ddiffoddir yn y tywyllwch du.
21 [b] Yr etifeddiaeth a geir ar frys yn y dech- b 2 Bren. 5, 20
reuad ni ffynna yn y diwedd. Hab. 2, 6
22 [c] Na ddywet, Mi a dala ddrwg; disgwil c 1 Pedr 3, 9
wrth yr Arglwydd ac efe a'th achub. Deut. 32, 35
23 Ffiaidd gan yr Arglwydd amryw bwysau;
a chlorian twyllodrus nid yw dda.
24 [d] Gan yr Arglwydd [y fforddir] llwybrau d Ioan 15, 5
gŵr; ond beth a ddeall dyn oi ffordd. Esa. 26, 12
25 [e] Magl yw i ŵr lyngcu peth cyssegredig; e Deut 23, 21
ac wedi ei addunedau ymofyn.
26 Brenin doeth a wascar yr annuwiol; ac a
drŷ'r olwyn arnynt.
27 [f] Megis cannwyll yr Arglwydd yw enaid f 1 Cor. 2, 11
dyn yr hon sydd yn chwilio holl gelloedd y bol.
28 [g] Trugaredd a ffyddlondeb a gadwant y g Sal. 101, 1
brenin, ai orseddfa a gadarnheir drwy drugar-
edd.
29 [h] Harddwch gwŷr ieuaingc [yw] eu nerth; h [illegible]
ac anrhydedd henafgwyr yw gwallt gwyn.
30 Cleisiau, briwiau, a dyrnodiau yn curo
celloedd y bol, ydynt scrafellau [i gosi]'r annuw-
iol.

## PEN. XXI.

FEL [i] afonydd o ddwfr y mae calon y brenin i Esa. 10, 5
yn llaw'r Arglwydd; efe ai try hi lle y
mynno ei hun.
2 [j] Gŵr sydd yn tybied yn ei olwg ei hun ei j Luc 16, 15
fod yn iniawn ym mhob ffordd; ond yr Ar- k 1 Sam. 15, 22
glwydd a bwysa y calonnau. Mica 6, 7
3 [k] Gwneuthur cyfiawnder a barn sydd well 1 Cor. 1, 19
gan yr Arglwydd nag aberth. 2 Pedr 2, 13
4 [l] Uchelder golwg, balchder calon [a] brynar l Ier. 10, 14

annuwiol sydd bechod.
5 Bwriadau y diyscenlus ydynt elw yn unic;
ond [bwriadau] pob ysceulus [ai dygant mewn]
eisieu.
6 [m] Tryssorau a gascler â thafod celwyddog,
a chwelir megis gwagedd; y neb [ai ceisiant]
sydd yn ceisio angeu.
7 [n] Anrhaith yr annuwiol a erys gyd â hwynt;
canys gwrthodant wneuthur cyfiawnder.
8 [o] Y dyn dauddyblig yn ei ffyrdd sydd est-
ronaidd; ond y pur sydd iniawn ei waith.
9 Gwell yw bod mewn congl yn nenn tŷ; na
bod gyd â gwraig anynad mewn tŷ ehang.
10 [p] Enaid yr annuwiol a ddeisyfia ddrwg;
nid grasusol yw ei gymmydog yn ei olwg ef.
11 [q] Pan gosper gwatwar-wr y bydd yr ehud
callach; a phan ddyscer y doeth, efe a dderbyn
wybodaeth;
12 [r] Call y mae y cyfiawn yn ystyried am dŷ
yr annuwiol [fod Duw] yn defetha y rhai annuw-
iol am [eu] drygioni.
13 [s] Y neb a gaeo ei glust rhag llef y tlawd; a
lefain ei hunan, ac ni's gwrandewir ef.
14 Rhodd yn y dirgel a dyrr ddigofaint: a
rhoddiad yn y fynwes [a yrr ymmaith] lid cryf.
15 [t] Llawen gan y cyfiawn wneuthur cyfiawn-
der; ond dinistr [fydd] hynny i weithwyr
anwiredd.
16 [u] Dyn yn myned ar gyfeiliorn oddi ar ffordd
callineb a orphwys yng-hynnulleidfa y meirw.
17 [v] Y neb a garo wledda a ddaw i dlodi; a'r
neb a garo win, ac olew ni bydd cyfoethog.
18 [w] Yr annuwiol [a roddir] yn iawn dros y
cyfiawn, a'r anffyddlon dros yr iniawn.
19 [x] Gwell yw aros yn yr anialwch, na chyd â
gwraig anynad ddigllon.
20 [y] Tryssor deisyfiadwy, ac olew sydd ym
mhebyll y doeth; ond dyn ffôl ai llyngc hwynt.
21 [z] Y neb a ddilyno gyfiawnder, a thrugar-
edd a gaiff fywyd, cyfiawnder, ac anrhydedd.
22 [a] Y doeth a ddringa [i ben] dinas y cedyrn,
ac a fwrw i lawr y cadernid y mae hi yn hyderu
arno.
23 Y neb a gadwo ei enau ai dafod, a geidw
ei enaid rhag cyfyngder.
24 [b] Y balch, y gwar-galed, [a'r] gwatwarus, yw
henw y gŵr a wnelo yn falch yn ei ddigllondeb.
25 [c] Deisyfiad y diog ai lladd ef; canys ei
ddwylo a wrthodant weithio.
26 [d] Yn hyd y dydd y deisyf efe ryw beth; ond
y cyfiawn a rydd, ac ni attal efe [ei law.]
27 [e] Aberth y rhai annuwiol sydd ffiaidd: pa
faint mwy, pan offrymmant yn sceler?
28 [f] Tyst celwyddog a ddifethir; ond y gŵr a
wrandawo a lefara bob amser.
29 Gŵr annuwiol a galeda ei wyneb; ond yr
iniawn a drefna ei ffordd.
30 [g] Nid oes ddoethineb, na deall, na chyngor g Esa. 8,9, 10
yn erbyn yr Arglwydd.
31 [h] Y march a ddarperir erbyn dydd rhyfel; h Sal. 33, 17
ond iechydwriaeth sydd eiddo yr Arglwydd. Esa. 30,1

## PEN. XXII.

MWY [i] dymunol yw enw da, na chyfoeth i Preg. 7, 1
lawer; a gwell yw gras nag arian ac nag
aur.
2 [j] Y tlawd a'r cyfoethog a gyd cyfarfuant; j 1 Cor. 12, 21
ond yr Arglwydd yw gwneuthydd y rhai hyn Iago 2, 1
oll.
3 [k] Y call a genfydd ddrwg, ac a ymgudd; k Heb. 11, 7
ond y ffyliaid a ant rhagddynt, a hwy a gospir. Mat. 24, 37
4 [l] Gobr gostyngeiddrwydd, ac ofn yr Ar- l Mat. 6, 33
glwydd yw cyfoeth, anrhydedd, a bywyd.
5 [m] Drain a maglau ynt yn ffordd y cyndyn; y m Esa. 24, 17
neb a gadwo ei enaid a ffy ym mhell oddi Sal. 91,3
wrthynt hwy.
6 [n] Hyfforddia fab ym mhen ei ffordd; a phan n Eph. 6, 4
heneiddio nid ymedu â hi. 2 Tim. 3, 15
7 [o] Y cyfoethog a arglwyddiaetha ar y tlawd; o Iago 2,6
a gwas fydd yr hwn a gaffo fenthyg i'r gŵr a
roddo fenthyg.
8 Y neb a hauo anwiredd a feda flinder; ac a
balla trwy wialen ei ddigofaint ef.
9 [p] Yr hael ei lygad a fendithir; canys efe a p 2 Cor. 9, 6
rydd oi fara i'r tlawd.
10 Bwrw allan y gwatwar-wr, a'r gynnen a
aiff allan [gyd ag ef] ie'r ymryson, a'r gwarth a
dderfydd.
11 [q] Y neb a garo lendid calon [trwy] ras ei q Mat. 5, 8
wefusau a [gaiff] y brenin yn gydymmaith. Dan. 6,28
12 [r] Llygaid yr Arglwydd a gadwant wybod- r Act. 12, 23
aeth, ac efe a ddinistria eiriau yr anwir.
13 Medd y diog, Y mae llew oddi allan; fo'm
lleddir yng-hanol yr heolydd.
14 [s] Ffos ddyfn yw genau gwragedd dieithr; s Dat. 17, 5
y neb y byddo'r Arglwydd yn ddig wrtho a Preg. 7, 26
syrth iddi.
15 Ffolineb sydd yn rhwym yng-halon bach-
gen: ond gwialen cerydd ai gyrr ymmaith.
16 Y neb a wasco ar y tlawd er chwanegu [ei
gyfoeth,] a'r neb a roddo i'r cyfoethog a ddaw i
dlodi.
17 [t] Gŵyra dy glust, a gwrando eiriau y doeth- t Mat. 28, 20
ion, a gosot dy galon ar fyng-wybodaeth mau fi.
18 Canys peth peraidd yw, os cedwi hwynt
yn dy galon: ac os cymhwysir hwynt yn dy
wefusau:
19 [u] Fel y byddo dy obaith yn yr Arglwydd u Eph. 1, 13
y dangosais i ti [hyn] heddyw [ystyria] dithe. 1 Thes. 1, 5, 6
20 Oni scrifennais i ti [eiriau] ardderchog o
gyngor, a gwybodaeth? v Luc 1,3, 5
21 [v] I beri i ti adnabod siccrwydd gwir eir- 1 Cor. 4, 13
iau, fel y gallit atteb geiriau y gwirionedd i'r Dat. 21,9

neb a anfonent attat.
22 Nac yspeilia mo'r tlawd o herwydd ei fod
yn dlawd; ac na sathr yr anghenus mewn barn.
23 Canys yr Arglwydd a ddadle drostynt,
ac a orthrymma enaid y neb ai gorthrymmo
hwynt.
24 Na fydd gydymmaith i'r digllon: ac na
chyd-gerdda â gŵr llidiog;
25 Rhag i ti ddyscu ei lwybrau ef, a chael
niwed i'th enaid.
26 Na fydd un o'r rhai a roddant eu dwylo,
[sef] o'r rhai a fechniant am ddyled.
27 Oni bydd gennit i dalu, pa ham y cym-
mer efe dy wely di oddi tanat?
28 Na symmut mo'r hen derfyn yr hwn a
osododd dy dadau.
29 A welaist ti ŵr diysceulus yn ei orchwyl?
efe a saif ger bron brenhinoedd, ac ni saif ger
bron yr issel-radd.

## PEN. XXIII.

PAN eisteddech i fwyta gyd â thywysog,
ystyria yn ddyfal beth sydd ger dy fron.
2 Ac os amgen ti a osodi gyllell ar dy wddf
os byddi ddyn blysig.
3 Na ddeisyf ei ddanteithion ef: canys twyll-
odrus yw bwyd.
4 Na ddeffygia mo honot dy hun, yn ymgyf-
oethogi; dod ti heibio dy gyfryw fwriad.
5 A beri di i'th lygaid ehedeg arnynt? yn y
man y darfyddant, ac y cymmerant adenydd, ac
megis eryr yr ehedant ymmaith tu a'r wybr.
6 Na fwyta fwyd y cenfigennus drwg ei
lygad; ac na chwennych moi ddainteithion ef.
7 Canys fel pe meddylie efe felly yn ei galon,
y dywed efe wrthit, Bwyta, ac ŷf, ai galon heb
fod gyd â thi.
8 Y tammaid a fwyteist a fwri di i fynu: a'th
eiriau melus a golli di.
9 Na lefara lle y clywo y ffol; canys efe a'th
ddiystyra di, a holl ddoethineb dy eiriau.
10 Na symmut mo'r hen derfyn, ac na thyret i
feusydd yr ymddifaid.
11 Canys eu dial-wr hwynt sydd nerthol; ac
a amddeffyn eu cweryl hwynt yn dy erbyn di.
12 Gosot dy galon ar addysc, a'th glustiau
ar eiriau synhwyrol.
13 Na thyn gerydd oddi wrth dy blentyn; er
ei guro â gwialen ni bydd efe farw.
14 Cur ef â gwialen, a thi a achubi ei enaid
rhag uffern.
15 Fy mab os dy galon di fydd doeth, fyng-
halon inne a lawenycha,
16 Ië fy arennau a grych-neidiant, pan draetho
dy wefusau di gyfiawnder.
17 Na wynfyded dy galon wrth bechadur-
iaid; ond [aros] yn ofn yr Arglwydd yn byd y
dydd.
18 Canys yn ddiau y mae gobr, ac ni phalla
dy obaith.
19 Erglyw fy mab, a bydd ddoeth; a chyfar-
wydda dy galon yn y ffordd.
20 Na fydd un o'r rhai ydynt yn meddwi ar
wîn; nac un o'r rhai glythion ar gig.
21 Canys y meddw, a'r glwth a ddeuant i
dlodi; a gormod cyscu a bar fyned mewn gwisc
ddrylliog.
22 Gwrando ar dy dad a'th genhedlodd; ac
na ddiystyra dy fam pan heneiddio.
23 Pryn y gwir, ac na werth, felly doethineb,
addysc a deall.
24 Tad y cyfiawn a orfoledda yn fawr; a'r neb
a genhedlo fab doeth a lawenha ynddo ef.
25 Par i'th dad ac i'th fam lawenychu; ac i'r
hon a'th ymddug orfoleddu.
26 Fy mab moes i mi dy galon: ac ymfod-
loned dy lygaid yn fy ffyrdd i.
27 Canys ffos ddyfn yw puttain; a phydew
cyfyng yw'r ddieithr.
28 Ië hi a ddisgwil fel gwilliaid; ac a chwa-
nega bechaduriaid ym mysc dynnion.
29 I bwy y mae gwae? i bwy [y mae] ochain?
i bwy y mae cynnen? i bwy y mae dadwrdd?
ac i bwy y mae gweliau heb achos? i bwy y mae
llygaid cochion?
30 I'r neb sydd yn aros wrth y gwîn: ac i'r
neb sydd yn chwilio am wîn cymmyscedig.
31 Nac edrych ar y gwîn mor gôch fydd pan
ddangoso ei liw yn y cwpan: yn ddisymmwth
efe a aiff [i wared] yn iniawn.
32 Yn y diwedd efe a frath fel sarph: ac a
biga fel gwiber.
33 Dy lygaid a edrychant ar wragedd dieithr:
a'th galon a draetha drawsedd.
34 Ti fyddi megis un yn cyscu yng-hanol y
môr: ac fel un yn cyscu ym mhen yr hwylbren.
35 Pan i'm curent [meddi] ni chlafychais:
pan i'm dulient nis gwybum: pan ddeffroaf mi
a af rhagof, mi ai ceisiaf drachefn.

## PEN. XXIV.

NA chenfigenna wrth wŷr annuwiol: ac na
ddeisyf fod gyd â hwynt.
2 Canys eu calon a fefyria anrhaith: ai gwe-
fusau a draethant flinder.
3 Adeiladir y tŷ drwy ddoethineb, a thrwy
ddeall y siccrheuir ef.
4 Trwy ddeall y llenwir y celloedd o bob
peth gwerth-fawr a hyfryd.
5 Gŵr doeth sydd nerthol: a gŵr pwyllog a
chwanega ei nerth.
6 Canys trwy gallineb y gwnei dy ryfel: ac
iechydwriaeth [a gei] drwy laweroedd o gyng-
horion.

e 1Cor. 8, 14 7 ᵉ Rhy uchel yw doethineb i ffôl: canys ni
egyr ei enau yn y porth.
d Rhuf. 1, 30 8 ᵈ Y neb a ddychymmygo ddrwg a elwir yn
sceler.
e Act. 8, 22 9 ᵉ Scelerder y ffol sydd bechod: a ffiaidd [yw
scelerder] y dyn gwatwarus.
f 1 Sam. 17, 1 10 ᶠ Os llwfrhei mewn amser cyfyngder, bych-
an fydd dy nerth.
11 Gwaret y rhai a luscir i angeu: canys pa
ham yr ymmadewit a'r neb a dywysir iw lladd?
g Dat. 2, 23 12 ᵍ Os dywedi, Wele, ni wyddom ni hyn:
onid yw mesurwr y calonnau yn deall? a'r neb
sydd yn cadw dy enaid, oni ŵyr efe? ac oni
thal efe i bawb yn ol ei weithred?
h Can. 5, 13 ʰ Fy mab bwyta fêl, canys da yw: a'r dil
mêl canys blasus yw i'th enau.
Mat. 11, 14 ⁱ Felly gwybydd [y bydd] doethineb [yn
felus] i'th enaid, os cei di hi, yn ddiau ti a gei
obr, a'th obaith ni phalla.
15 Na chynllwyn di yr annuwiol wrth drigfa'r
cyfiawn, ac na anrheithia ei orphwysfa.
j Mica 7, 8 16 ʲ Canys seith-waith y syrth y cyfiawn, ac
efe a gyfyd drachefn: ond yr annuwolion a
dramgwyddant mewn drygioni.
k Rhuf. 12, 19 17 ᵏ Pan syrthio dy elyn na lawenycha: a
phan dramgwyddo, na orfoledded dy galon:
Obad. 12 18 ˡ Rhag i'r Arglwydd weled, a bod hynny
yn ddrwg yn ei olwg ef, ac iddo droi ei ddig
oddi wrtho ef [attat ti.]
19 Nac ymddigia o herwydd y drwg weithred-
wyr, na chynfigenna wrth yr annuwolion.
Sal. 11, 20 ᵐ Canys ni bydd diben ar [eu] drygfyd a
channwyll yr annuwolion a ddiffoddir.
Ex. 1, 17 21 ⁿ Fy mab ofna'r Arglwydd a'r brenin: ac
nac ymmyr a'r anwadal.
22 ᵒ Canys yn ddisymmwth y cyfyd eu dest-
Dat. 19, ruw hwy: a phwy a ŵyr eu dinistr hwynt ill
dau?
23 ᵖ Dymma hefyd [eiriau] y doethion: nit da
cydnabod braint mewn barn.
24 Y neb a ddywedo wrth yr annuwiol, Cyf-
iawn wyt, y bobl ai melldithiant ef: y cenhedl-
oedd fydd ffiaidd ganddynt ef.
Mat. 14, 25 ᑫ Ond i'r neb ai ceryddo y bydd hyfryd-
Sal. 15, 5 wch: a bendith dda a ddigwydd iddynt.
r Dan. 2, 26 ʳ Pawb a gusana wefusau'r neb a attebo
eiriau iniawn.
s 1 Bren. 5, 16 27 ˢ Trin dy orchwyl oddi allan, a dospartha
1 Pedr 2, yr hyn sydd i ti yn y maes: ac wedi hynny
adailada dy dŷ.
t Eph. 4, 25 28 ᵗ Na fydd dyst heb achos yn erbyn dy
gymmydog, ac na fydd ehud a'th wefusau.
u Mat. 5, 40 29 ᵘ Na ddywet ti, Mi a wnaf iddo ef fel y
gwnaeth yntef i minne, mi a dalaf i bawb yn ol
ei weithred.
30 Mi a ethym heibio heb dyddyn y dyn
diog, ac heb win-llan yr angall.
31 ᵛ Ac wele codase yscall ar hyd-ddo oll: v Heb. 6, 8
danadl poethion a guddiasent ei wyneb: a'r Gen. 3, 18
fagwyr gerrig a syrthiase i lawr. Mat. 13, 22
32 Pan welais i hyn, mi a ystyriais, mi a ed-
rychais, ac a gymmerais addysc.
33 ʷ Ychydig gyscu, ychydig heppian, ychyd- w Phil. 3, 18
ig wascu'r dwylo i orwedd: 2 Pedr 1, 12
34 Yng-hyfwng hyn y daw tlodi arnat, megis
ymdeithudd, a'th angen fel gŵr arfog.

## PEN. XXV.

DYMMA hefyd ddiharebion Salomon y rhai
a gasclodd ˣ gwŷr Ezecia brenin Iuda. x 1 Bren. 4, 32
2 ANRHYDEDD ʸ Duw yw celu cyfrin- y Rhuf. 11, 33
ach: ond anrhydedd brenin yw chwilio Iob 29, 16
am beth.
3 ᶻ Uchder y nefoedd, a dyfnder y ddaiar: a z Col. 2, 3
chalon brenin ni ellir eu chwilio. 1 Bren. 4, 29
4 ᵃ Wrth dynnu'r amhuredd oddi wrth yr a 2 Tim. 2, 21
arian y daw i'r gof arian-lestr.
5 ᵇ Felly wrth dynnu'r annuwiol o olwg y b Ester 7, 10 a 8, 1
brenin: y cadarnheir drwy gyfiawnder ei or-
seddfa ef.
6 Na ogonedda di dy hun ger bron y brenin:
ac na saf yn lle gwŷr mawr.
7 ᶜ Canys gwell it ddywedyd wrthit, Tyret i c Luc 14, 8
fynu: na'th fwrw yn is ger bron pendefig yr
hwn beth a wel dy lygaid.
8 ᵈ Na ddechreu di gynnen yn rhy ebrwydd: d Dat. 17, 14
rhag ofn o'r diwedd i'r peth oedd yn dy fryd ti 1 Bren. 18, 14
ei wneuthur syrthio i ti dy hon, ac yna dy gyw-
ilyddio gan dy gymmydog.
9 ᵉ Dadle a'th gymmydog: ond na ddatcuddia e Mat. 18, 15
gyfrinach gŵr arall: 1 Cor. 13, 5, 4
10 Rhag i'r neb a fyddo yn gwrando ddwyn
gwarth arnat ti: ac i'th gywilydd na thry oddi
wrthit.
11 ᶠ Gair a ddyweder mewn amser sydd megis f Cor. 9, 20
afalau aur mewn gwaith o arian cerfiedig. Esa. 50, 4
12 ᵍ Cerydd-wr doeth i'r glust a wrandawo g 1 Sam. 25, 32
sydd fel anuwyl-dlws euraid, a gwisc o aur
rhagorol.
13 ʰ Megis oerder eira yn amser cynhaiaf yw h Iob 33, 23
cennad ffyddlon i'r rhai ai gyrrant ef: canys efe
a lawenycha enaid ei feistred.
14 ⁱ Y neb a ymffrostio yn fawr heb roddi dim i 1 Bren. 22, 11
sydd gyffelyb i gwmylau a gwynt heb law. Luc 4, 6
15 Drwy hir-ymaros y bodlonir pendefig: a
thafod teg a dyrr greulondeb.
16 ʲ Pan gaffech fêl, bwyta a'th wasanaetho: j Rhuf. 12, 3
rhag wedi dy lenwi o honaw, i ti ei chwdu ef. 1 Cor. 7, 29
17 ᵏ Cadw dy droed allan o dŷ dy gymmydog k 1 Cor. 10, 31
rhag iddo flino arnat, a'th gasau.
18 ˡ Y neb a ddygo gam destiolaeth yn erbyn
ei gymmydog, sydd megis gordd, a chleddyf, a l Sal. 57, 4
saeth flaen-llem.

mMat.26, 70 19 m Coel ar ffalswr yn nydd cyfyngder, sydd
2 Tim. 4, 16 megis dant wedi ei dorri, a throed wedi tyrfu.
nRhuf.12, 15 20 n Yr hwn a dynno ymmaith wisc [oddi am
Iago 5,13 ddyn] ar amser oerfeloc, [sydd fel] finegr ar
neitr, neu [un] yn canu caniadau i galon drist.
oMat. 5, 44 21 o Os dy elyn a newyna portha ef â bara, ac
os sycheda, dod ti iddo ddiod iw yfed.
p 2 Sam. 16,12 22 p Canys marwor a bentyrri ar ei ben ef:
a'r Arglwydd a dal i ti.
qSal.15,3 23 q Megis y par gwynt y gogledd law: felly y
par tafod athrodgar wyneb-pryd digllon.
24 Gwell yw aros mewn congl yn nenn tŷ, na
chyd â gwraig anynad mewn tŷ ehang.
rSal.42,1 Luc 2,10 Mat. 11, 28 25 r Fel dyfroedd oerion i enaid sychedig yw
newyddion da o wlad bell.
s2Sam.12, 34 26 s Gŵr cyfiawn wedi syrthio i lawr ger bron
y drygionus, sydd megis ffynnon wedi ei chym-
myscu â gofer rhydlyd.
27 Nit da bwyta llawer o fêl, ac felly chwilio
eu hanrhydedd nid anrhydeddus yw.
28 Y neb ni byddo ganddo attaliaeth ar ei
chwant, sydd megis dinas ddrylliog heb gaer.

## PEN. XXVI.

tSal. 15,4 Ester 3,1 NID t gweddus i'r ffol anrhydedd, mwy nac
i'r haf eira neu i'r cynhaiaf law.
u Num. 23, 8 Dat. 13,5 2 u Fel yr aderyn a gyrwydra, a'r wennol a
eheda: felly y felldith yr hon ni haedder ni
ddescyn.
v Ioan 2, 15 3 v Ffrewyll i farch, ffrwyn i assyn: a gwialen
2Cor. 10, 6 a [berthyn] i gefn yr ynfyd.
wMat. 7, 6 4 w Na atteb ynfyd fel [y mynne] ei ynfyd-
Luc 23,8 rwydd, rhag dy gyffelybu iddo.
xTit.1.13 Mat. 16,1 5 x Atteb yr ynfyd fel [yr haedde] ei ynfyd-
rwydd: rhag iddo fod yn ddoeth yn ei olwg
ei hun.
yNum.13, 31 6 y Y neb a yrro negesau gyd ag un angall a
gaiff gam megis pe torre draed [ei] gennad.
7 Nid gogyhyd ysceiriau y cloff: felly dammeg
o enau ffyliaid.
zSal.15,4 8 z Fel un yn rhwymo carreg mewn tafl: felly
y gwna'r neb a anrhydeddo ffol.
9 Fel draen yn myned i law dyn meddw:
felly y mae dihareb yng-enau yr anghall.
10 Y cadarn yr hwn a lunniodd bob peth
sydd yn gobrwyo y ffol, ac yn talu i'r tro-
seddwyr.
a2Pedr 2, 21 Ex. 8,15 11 a Megis ci yn dychwelyd iw chwdfa: felly
y mae y ffol yr hwn a ddechreu ei ffolineb drach-
efn o newydd.
bLuc 18, 11 Dat. 3,17 12 b A welaist di ŵr doeth yn ei olwg ei hun?
gwell yw'r gobaith am ffol nag am hwnnw.
cMat.22, 5 13 c Y mae llew mawr ar y ffordd [medd y
diog,] y mae llew yn yr heolydd.
14 Fel y drws yn troi ar ei golyn, felly [y try]
'r diog yn ei wely.
15 Y diog a guddia ei law yn ei fynwes, a
blin ganddo ei heatyn at ei enau trachefn.
16 d Doethach yw'r diog yn ei olwg ei hun, na d Luc 7, 30
seith-wŷr yn adrodd rheswm.
17 e Y neb wrth fyned heibio a ymmyro mewn e1Tim.5, 13
cweryl ni pherthyn iddo ei hun, sydd megis un 1Thes. 4, 11
yn cymmeryd ci erbyn ei glustiau.
18 Fel dyn gwall-gofus yr hwn a daflo ben-
tewynion tân, saethau, ac arfau marwolaeth:
19 f Felly y gwna gŵr twyllodrus ai gymmydog f Eph. 5,4
gan ddywedyd, Ond cellwair yr oeddwn i?
20 g Megis pan ddarfyddo'r coed y diffodda'r gIago 4,6
tân: felly pryd na byddo athrodwr y derfydd y
gynnen.
21 h Gŵr cynhennus a ennynna gynnen, fel hAct. 15, 1
glô y marwor, a'r coed y tân. Num. 16, 1
22 Geiriau'r athrodwr ydynt megis rhai yn Pen.18, 8
ymguro, a hwy a ddescynnant i gelloedd y bol. a 19, 12
23 i Fel sorod arian wedi eu bwrw dros ddryll iGal.4,17 Mat. 9,3
llestr pridd: felly y mae gwefusau poeth a cha- 2Sam.15, 3, 4
lon ddrwg.
24 Y digasog a ragrithia ai wefusau: ac yn ei
galon yn dychymmyg twyll.
25 j Pan ddywedo efe yn deg nac ymddiriet jMica 7,5 Ier. 9,8,9
iddo: canys y mae saith ffieidd-dra yn ei ga- Mat. 26, 16, 17
lon ef.
26 k Drwy gyfrwysder y cuddir digasedd: ond k 2 Sam. 13, 22, 23
ei ddrygioni a ddatguddir yn y gynnulleidfa.
27 l Y neb a gloddio bydew a syrth ynddo, a'r lEster 7, 10
neb a dreiglo garreg, atto y dychwel trachefn. Barn9,53
28 m Y tafod celwyddog a gasa'r neb a gys- mEster 3, 5
tuddio efe, a'r genau gwenieithus a wna ddinistr.

## PEN. XXVII.

NAC n ymffrostia o'r dydd foru: canys ni Iago 4, 13
wyddost beth a ddigwydda [mewn] diwr-
nod.
2 o Canmoled arall dy di, ac nid dy enau dy hun: oRhuf.8, 29
estron, ac nid dy wefusau dy hunan.
3 p Trom yw'r garreg a phwys-fawr yw'r tyw- pDan.3, 19
od, ond digofaint y ffol sydd drymmach na
hwynt ill-dau.
4 q Creulon yw llid, fel llif-ddwfr yw cynddar- q1Ioan3, 12
edd, a phwy a ddichon sefyll o flaen cenfigen?
5 r Gwell yw cerydd cyhoeddus, na chuddiedig rGal. 2,4 2Sam. 12, 5
gariad.
6 Ffyddlon yw archollion y caredig: ond cus-
anau y digasog ydynt greulon.
7 s Y dyn llawn a sathra'r dil mêl: ond i'r ne- sMat. 9, 12 Amos8,5
wynog pob peth chwerw sydd felus.
8 Gŵr yn ymdaith oi le ei hun sydd debyg i Mat. 11, 28
aderyn yn cilio oi nŷth. 1Sam.3,3
9 Olew ac arogl-darth a lawenychant y galon, tAct. 28, 15
felly [y gwna] mwynder cyfaill yn fwy nai 2 Cor. 2, 15
gyngor ei hun.
10 u Nac ymado a'th gydymaith dy hun a uAmos1, 9
chydymaith dy dad: ac na ddos i dŷ dy frawd,
yn amser dy orthrymder: canys gwell yw cym-

mydog yn agos, na brawd ym mhell.
11 Bydd ddoeth fy mab a llawenycha fyng
halon, fel y gallwyf atteb i'r neb a'm gwrad-
wyddo.
12 Y call a wel y drwg [yn dyfod] ac a ym-
gudd: ond ffyliaid a ant rhagddynt, a hwy a
gospir.
13 Cymmer wisc yr hwn a fachnio dros y
dieithr: a'r neb a fachnio dros y ddieithr, cym-
mer wystl ganddo.
Act.18. 14 [v] Y neb a ganmolo ei gydymmaith â llef
Bren.22 uchel y boreu pan gyfodo y cyfrifir [hyn] yn
wradwydd iddo.
15 Defni parhaus ar ddiwrnod glawog, a
gwraig anynad cyffelyb ydynt.
16 Y mae yr hwn ai gorchguddio hi [megis]yn
gorchguddio y gwynt: canys hi a ymddengys
megis olew yn ei ddeheu-law ef.
Act.15. a18, 4 17 [w] Un arf a hoga'r llall: ac un gŵr a fyw-
ha'r llall.
18 [x] Y neb a gadwo ei ffigusbren, a fwyta ei
Sam.2 ffrwyth ef, a'r neb a wasanaetho ei feistr a ddaw
i anrhydedd.
19 Megis [mewn] dwfr [y mae] amryw wyneb-
au: felly y mae calonnau amryw ddynnion.
Ioan2. 20 [y] Ni lenwir uffern na destruw, felly ni lenwir
eg.1,8 llygaid dyn.
21 Fel y tawddlestr i'r arian, ar ffwrnes i'r
aur: felly y mae genau'r neb ai can-molo i'r
neb a gan-moler.
22 Er i ti bwnnio ffol mewn morter â phestl
ym mhlith grawn: etto ni ymedu ei ffolineb
ag ef.
Act.20. 23 [z] Edrych yn ddyfal ar dy anifeiliaid, gofala
edr 5, am dy braidd.
2 Thes. 24 [a] Canys cyfoeth ni pheru byth: a choron ni
19 pheru o genhedlaeth i genhedlaeth.
Luc 12. 25 [b] Pan flaendarddo'r gwair, pan ymddang-
an 9, 4 oso'r glas-wellt: yna y casclir llysieu y myn-
1.104,7 9, 14 yddoedd.
Sal.10. 26 [c] Yr ŵyn a'th ddilladant, ac o'r geifr y
[cei] werth tir.
Tim.6 27 [d] Hefyd ti a gei ddigon o laeth geifr yn
at.6,33 fwyd i ti, yn fwyd i'th dylwyth ac yn ymborth
eb.13,5 i'th lancesau.

## PEN. XXVIII.

ef.26, YR [e] annuwiol a ffŷ heb neb yn ei erlid:
1.35,6 ond y rhai cyfiawn ydynt cyffelyb i lew
ieuangc hyf.
Iob 22, 2 [f] O herwydd camwedd gwlad, aml fydd ei
Mat.18, phennaethiaid: ond lle y byddo gŵr pwyllog
Act.12, synhwyrol y peru [teyrnas] yn hir.
Bren.18 3 [g] Gŵr tlawd yn gorthrymmu rhai tlodion
sydd debyg i lif-ddwfr yn difetha llynniaeth.
hil. 1, 4 [h]Y neb a dorant gyfraith a ganmolant yr an-
at.5,7 nuwiol: ond y neb a gadwant y gyfraith a ym-
laddant a hwynt.
5 [i]Dynnion annuwiol ni ddeallant farn: ond y iSal.92,6
neb a geisiant yr Arglwydd a ddeallant bob 1Cor.2,15
peth.
6 [j] Gwell yw yr tlawd a rodio yn iniawn, na'r jSal.19,2
traws ei ffyrdd, ac yntef yn gyfoethog. 1Bren.13 21
7 Y neb a gadwo'r gyfraith sydd fab deallus:
ond y neb a fyddo cydymaith i loddestwyr a
gywilyddia ei dad.
8 Y neb a chwanego ei gyfoeth drwy usuriaeth
ac occreth sydd yn tyrru i'r neb a fydd trugarog
wrth y tlawd.
9 [k] Y neb a dry ei glust [ymaith] rhag gwran- k2Tim.4 3
do'r gyfraith, fydd ffiaidd ei weddi hefyd. Zec.7 11
10 [l]Y neb a ddeno'r cyfiawn i ffordd ddrwg, a lMat6 33
syrth yn ei bydew ei hun: ond y cyfiawn a fedd-
ianna ddaioni.
11 [m] Gŵr cyfoethog sydd ddoeth yn ei olwg mLuc16 14
ei hun: ond y tlawd deallus ai chwilia ef.
12 [n] Pan fyddo llawen y cyfiawn, mawr yw yr nDat. 18 20
anrhydedd: ond pan dderchafer yr annuwolion Heb. 11 38
y chwilir dyn.
13 [o] Y neb a guddio ei bechodau ni lwydda: oSal.32 3 5
ond y neb ai haddefo ac ai gedy, efe a gaiff dru- 1Ioan1 9
garedd.
14 [p] Gwyn ei fyd y dyn o ofno yn oestadol, pSal16 8 Rhuf.? 5
ond y neb a galedo ei galon a ddigwydda i
ddrwg.
15 [q] Fel y llew ruadus, ac arth newynog yw q1Pedr5 8
llywydd annuwiol i bobl dlodion. Ex. 1 13
16 Pennadur heb ddeall fydd yn fawr ei 13 Ester3 8
drawsedd: ond y neb a gasao gybydd-dra a 9 Mat.2 16
estyn ei ddyddiau.
17 Dyn a erlidier o herwydd gwaed dyn a ffŷ
i'r pwll, ac nac amddeffynned neb ef.
18 [r] Y neb a rodio yn iniawn a waredir: ond rMat. 27 3
y neb a fyddo traws ei ffyrdd a syrth am hynny.
19 [s] Y neb a wrteithio ei dir a ddigonir o fara: s2Pedr 1 5 9
ond y neb a ganlyno oferwyr a lenwir o dlodi. Luc16 25
20 Gŵr ffyddlon a fydd aml ei fendithion: Iob 7 4 Sal.50 18
ond y neb a bryssuro i fod yn cyfoethog ni bydd
dieuog.
21 Nid da derbyn wyneb, canys y cyfryw ŵr
am dammaid o fara a wna gam.
22 [t]Gŵr drwg ei lygaid a bryssura i chwan- tIob20 22 a 27 16
egu ei gyfoeth: ond bychan y gŵyr efe y daw Luc16 25
tlodi arno ef. Sal. 62 5 Gen.18.6
23 [u] Y neb a geryddo ddyn a gaiff yn y diw- a 19 17 Galar. 1 9
edd fwy o ffafr, na'r neb a draetho weniaith ai
dafod. u Mat18 15
24 Y neb a yspeilio ei dad ai fam, ac a ddyw-
ed, Nid yw hyn bechod, sydd gymmar i ddin-
istriwr.
25 [v] Gŵr uchel ei feddwl a enynna gynnen: v1Tim6 6
ond y neb a ymddyriedo yn yr Arglwydd a
borthir yn fras.

26 [w] Y neb a ymddyriedo yn ei galon ei hun sydd ffol; ond y neb a rodio yn bwyllog a achub ei hun.

27 Y neb a roddo i'r tlawd ni bydd angen arno: ond y neb a dry ei lygaid oddi wrtho a gaiff lawer o felldithion.

28 [x] Pan dderchafer yr annuwiolion, rhaid i'r dyn [duwiol] ymguddio, ond wedi darfod am danynt yr amlheir y cyfiawn.

## PEN. XXIX.

GWR [y] a gerydder yn fynych ac a galeda ei warr, a ddryllir yn ddisymwth fel na byddo meddyginiaeth.

2 [z] Pan amlhaer y cyfiawn y bobl a lawenychant: ond pan fyddo'r annuwiol yn llywodraethu y bobl a ocheneidiant.

3 [a] Gŵr a garo ddoethineb a lawenycha ei dad: ond y neb a fyddo gyfaill i butteiniaid a ysa ei dda.

4 [b] Brenin drwy farn a gadarnhâ ei deyrnas, ond y neb a garo anrhegion, ai dinistria hi.

5 [c] Y gŵr a ddywedo weniaith wrth ei gymmydog sydd yn gosod magl i'w draed ef.

6 [d] Croglath ddrwg fydd i'r neb a becho: ond y cyfiawn a gân, ac a fydd lawen.

7 [e] Y cyfiawn a wybydd am fatter y tlodion, ond yr annuwiol nid ystyria am wybod.

8 Dynion gwatwarus a ddifethant ddinas, ond y doethion a droant ymmaith ddigofaint.

9 [f] Gŵr doeth a ymrysono â dyn ffôl pa un bynnac a wnel efe ai digio, ai chwerthin, etto ni bydd llonyddwch.

10 [g] Gwŷr gwaedlyd a gasânt yr iniawn ond [gwŷr] iniawn a ymgais ag ef.

11 Y ffol a dywallt ei holl feddwl: ond gŵr doeth ai hattal hyd yn ol llaw.

12 [h] Pan fyddo'r llywydd yn gwrando ar ffalsedd, ei holl weision fyddant annuwiol.

13 [i] Tlawd a'r cyfoethog a gydgyfarfyddant, a'r Arglwydd a lewyrcha eu llygaid hwy ill dau.

14 [j] Y brenin a farno'r tlodion yn ffyddlon ei orsedd a sicrheir byth.

15 [k] Y wialen a cherydd a rydd ddoethineb: ond mab a gaffo ei rwysc ei hun a gywilyddia ei fam.

16 [l] Pan amlhao'r rhai annuwiol yr amlha pechod: ond y rhai cyfiawn a welant eu cwymp hwynt.

17 Cerydda dy fab, ac efe a rydd i ti lonyddwch: ac efe a bar hyfrydwch i'th enaid.

18 [m] Lle ni byddo gweledigaeth methu a wna'r bobl: ond y neb a gadwo'r gyfraith, gwyn ei fyd ef.

19 [n] Ni chymmer gwas addysc ar eiriau: canys er ei fod yn deall etto ni etyb.

20 A weli di ddyn pryssur yn ei eiriau? gwell yw'r gobaith am ffol nag am dano ef.

21 [o] Y neb a ddygo ei was i fynu yn foethus o'i febyd, o'r diwedd efe a fydd [fel] mab [iddo.]

22 Gŵr digllon a enynna gynnen, a'r digllon sydd aml ei gamwedd.

23 [p] Balchder dyn ai bwrw i lawr, ond gostyngedig yspryd a gynnal anrhydedd.

24 [q] Y neb a gyfranno â lleidr a gasâ ei enaid ei hun: a'r neb hefyd a wrandawo ar beth melldigedig heb ei gyhuddo.

25 [r] Yr hwn sydd yn ofni dyn sydd yn gosod magl yn ei erbyn ei hun: ond y neb a ymddyriedo yn yr Arglwydd a dderchefir yn ddiogel.

26 Llawer a ymgeisiant ag wyneb y llywydd; ond yr Arglwydd pie barnu pob dyn.

27 [s] Ffiaidd gan y cyfiawn ŵr anwir: a ffiaidd gan yr annuwiol ŵr iniawn ei ffordd.

## PEN. XXX.

1 Geiriau Agur mab Iace, y brophwydoliaeth, a lefarodd gŵr am Ithiel meddaf ac Ucal.

2 YN [t] wir yr ydwyf yn ffolach na neb, ac nid oes deall dyn gennif.

3 [u] Ni ddyscais ddoethineb, ac nid oes gennif wybodaeth am bethau sanctaidd.

4 [v] Pwy a escynnodd i'r nefoedd, a phwy a ddescynnodd? a phwy a gasclodd y gwynt yn ei ddyrnau? [5] [w] Pwy a rwymodd y dyfroedd mewn dilledyn? pwy a gadarnhâodd oll derfynau y ddaiar? beth yw ei enw ef, a pheth yw enw ei fab, os gwyddost?

6 [x] Gair Duw oll sydd bur: tarian yw efe i'r neb a ymddyriedant ynddo.

7 [y] Na ddyro ddim at ei eiriau ef, rhag iddo dy geryddu, a'th gael di yn gelwyddog.

7 Dau beth yr ydwyf yn eu gofyn gennit cyn fy marw, na omedd hwynt i mi.

8 [z] Tynn ym mhell oddi wrthif wagedd a chelwydd, na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth, portha fi a'm digon o fara:

9 [a] Rhag i mi pan fyddwyf lawn dy wadu di, a gofyn, Pwy yw'r Arglwydd? a rhag pan syrthiwyf mewn tlodi i mi ledratta: a chymmeryd enw Duw [yn ofer.]

10 [b] Nac achwyn ar was wrth ei feistr, rhag iddo ddywedyd drwg am danat a'th gael yn euog.

11 Y mae cenhedlaeth a felldithia ei thad, ai mam ni fendithia.

12 [c] Y mae cenhedlaeth lan yn ei golwg ei hun, er nas glanhawyd oddi wrth ei haflendid.

13 Y mae cenhedlaeth ai llygaid yn uchelion, ac amrantau ei llygaid yn uchel.

14 Y mae cenhedlaeth ai dannedd yn gleddyfau, ai chil-ddannedd yn gyllill: i ysu'r tlodion oddi ar y ddaiar a'r anghenus o blith dynion.

dMat. 26, 15 d I'r gele y mae dwy ferch [yn dywedyd,]
15 2Sam. 17, Moes, moes: y tri pheth hyn ni ddiwellir [ïe,]
10 pedwar peth ni ddywedant byth, Digon.
16 Y bedd, croth amhlantadwy, y ddaiar ni
ddiwellir â dyfroedd, a'r tân ni ddywed, Digon.
17 Llygad yr hwn a wattwaro ei dad neu a
ddiystyro lywodraeth ei fam a dynno cyg-frain
y dyffryn, a'r eryrod ai bwytao.
18 Tri pheth ydynt guddiedig i mi: ïe pedwar
peth nid adwen.
19 Ffordd yr eryr yn yr awyr, ffordd neidr
ar graig, ffordd llong yng-hanol y môr, a ffordd
gŵr gyd â morwyn.
eDat. 17, 20 e Dymma arfer merch odinebus, hi a
3 fThes. 2, fwytu, ac a sych ei safn, ac a ddywed, Ni
10 Eph. 4, 14 wneuthym i anwiredd.
Luc 18, 11 Jer. 7, 9, 21 Tann dri pheth y cryn y ddaiar, ïe tann
10 bedwar ni ddichon hi ddioddef:
2Sam. 15, 3 22 f Tann was pan deyrnaso, tann un ffol pan
1 Sam. 25, 25 lanwer ef o fwyd.
23 Tann [wraig] atgas pan brioder hi, a thann
lawforwyn pan wneler hi yn aeres iw meistres.
g1Cor. 1, 24 g Y pedwar hyn ar y ddaiar sydd bethau
27 Job 12, 7 bychain, ac etto y maent yn ddoethaf o'r doethion.
25 Nid yw'r morgrug bobl nerthol, etto y
maent yn darparu eu llynniaeth yn amser hâf.
hMat. 7, 26 h Y cwningod nid ydynt bobl rymmus,
24 Sal. 18, 2 etto hwy a wnant eu tai yn y graig.
Esa. 40, 17 Job 8, 14 27 Y ceiliogod rhedyn nid oes brenin iddynt,
ac etto hwynt a godant allan yn dorfeudd.
28 Y pryf coppyn a afaela ai law, [yn ei wê,]
ac a erys yn llŷs y brenin.
29 Y tri pheth hyn a rodiant yn hardd, ïe
pedwar peth a rodiant yn hardd weddus.
Job 14, 15 30 i Hen lew cryf ym mhlith yr anifeiliaid yr
Dan. 1, 8 Sal. 45, 2 hwn ni thry yn ol ei gefn er ofn neb.
31 Y milgi cryf yn ei feingefn, a hwrdd, a
brenin, [yr hwn] ni chyfyd neb yn ei erbyn.
jPreg. 8, 32 j Os buost ffol yn ymdderchafu, ac os am-
a 10, 29 cenaist, dyro dy law ar dy enau:
kMat. 5, 33 k Canys megis y dwg yr hwn a gorddo
8 laeth ymenyn allan, ac y gwna yr hwn a wasco
ffroenau i'r gwaed ddyfod allan: felly cymmell
llid a ddwg allan gynnen.

## PEN. XXXI.

l1Bren. 1, GEIRIAU l Lemuel frenin: [a'r] brophwyd-
1 oliaeth, yr hon a ddysgodd ei fam iddo ef.
mEsa. 49, 2 m Beth [a ddywedaf] fy mab? Pa beth fy mab
5 1Sam. 1, cnawdol? ïe, pa beth a ddywedaf fy mab annwyl?
18 nDeut. 3 n Na ddyro i wragedd dy nerth: na'th ffyrdd
9, 17 i'r rhai a ddifethant frenhinoedd.
4 Nid [gweddaidd] i frenhinoedd, O Lemuel,
nid gweddaidd i frenhinoedd yfed gwîn: nac i
bennaduriaid ddeisyfu diod gadarn,
5 o Rhag iddo ef yfed, ac ebergofi deddf: a oDeut. 17,
chyfnewidio barn yr holl rai gorthrymmedig. 18 Hos. 4, 11
6 Rhoddwch ddiod gadarn i'r neb sydd ar ddar-
fod am dano: a rhoddwch wîn i'r trist [ei] feddwl.
7 Yfed efe fel yr anghofio ei dlodi: yfed fel
na's meddylio am ei flin-fyd.
8 p Agor dy enau dros y mud: ac yng-hweryl pJob 29,
plant angeu. 15, 16 Ester 4, 16
9 Agor dy enau, barn yn gyfiawn: a dadle 1Sam. 19,
dros y tlawd a'r anghenus. 4
10 q Pwy bynnac a gaffo wraig rinweddol: qDat. 12,
gwerthfawrocach yw hi na'r carbwncl. 1
11 r Calon ei gŵr a ymddyried ynddi: ac ni rEph. 5,
bydd arno ddim eisieu. 25 Act 18, 22
12 s Hi a wna iddo les, ac nid drwg, holl s1Cor. 1,
ddyddiau ei bywyd. 30
13 t Hi a gais wlan neu lîn, ac ai gweithia ai tPhil. 2,
dwy-law yn ewyllyscar. 12 Sal 110, 3
14 u Tebyg yw hi i long marsiandwr, hi a uMat. 13,
gluda ei bywyd o bell. 45 Col. 3, 1
15 v Hi a gyfyd liw nos, ac a rydd fwyd iw vRhuf. 12,
thylwyth, ai tasc iw llangcesau. 11 Luc 12, 42
16 w Hi a rydd ei bryd ar dyddyn, ac ai pryn wMat. 13,
ef: ac â gwaith ei dwylo hi a blanna win-llan. 44
17 x Hi a wregysa ei lwynau â nerth: ac a x1Cor. 16,
gryfha ei breichiau. 13
18 y Os hi a wel fod ei marsiandiaeth yn yMat. 5,
fuddiol, ni ddiffydd ei chanwyll ar hyd y nos. 16
19 z Hi a rydd ei llaw ar ei chwarfan, ai llaw z2Tim. 2,
a ddeil y werthyd. 8
20 a Hi a egyr gledr ei llaw i'r tlawd, ac a aHeb. 13,
estyn ei dwylo i'r anghenus. 16
21 Nid ofna hi am ei thylwyth rhag yr eira,
canys ei holl dŷ hi a wisc scarlat.
22 b Hi a weithia iddi ei hun garpedau, ei bDat. 19,
gwisc yw lliain main a phorphor. 8
23 c Hynod yw ei gŵr hi yn y pyrth, pan eist- cIoan 15,
eddo gyd â henafiaid y wlad. 8 2Pedr 2,
24 d Hi a weithia liain, ac ai gwerth, ac a werth 9, 12 dEph. 6,
wregysau i'r marsiandwyr. 14
25 e Nerth ac anrhydedd yw ei gwisc, ac yn yr eMat. 16,
amser a ddaw hi a chwardd. 18
26 f Hi a egyr ei genau yn ddoeth, a chyfraith fCol. 4, 6
trugaredd [sydd] ar ei thafod hi. 1Cor. 13, 3
27 g Hi a graffa pa ffordd y rhodia tylwyth ei gPhil. 2,
thŷ: ac ni fwyta hi fwyd [mewn] syrthni. 4
28 h Ei phlant a godant, ac ai galwant yn dded- hGal. 4,
wydd: ei gŵr yn yr un modd ai canmol hi: 26
29 i Gan ddywedyd, Llawer merch a weith- iLuc 1, 28
iodd yn rymmus, ond ti a ragoraist arnynt oll. 29
30 j Siomedig yw ffafr, ac ofer yw tegwch: jDat. 17, 4
ond benyw yn ofni yr Arglwydd a gaiff glod. kMat. 15,
31 k Rhoddwch iddi o weithredoedd ei dwylo, 28 Gal. 6, 4
a chan-moled ei gweithredoedd hi yn y pyrth. Sal. 107, 32

PEN. XXX. Adn. 31.] MILGI. Gair anarferol (yn y Bibl) ac yn anhawdd ei gyfieithu: ond pa un ai MARCH ai MILGI y dyly fod, fe ddyâg y doeth na chreodd Duw ddim yn ofer.

TERFYN DIHAREBION SALOMON.

# LLYFR Y PREGETH-WR.

## PENNOD I.

*Oferedd y byd.*

GEIRIAU y Pregeth-wr mab Dafydd fre-
nin [yr hwn oedd] yn Ierusalem.
2 [a] Gwagedd o wagedd medd y Pregeth-wr,
gwagedd o wagedd, gwagedd [yw'r] cwbl.
3 [b] Pa fudd sydd i ddyn oi holl lafur, a gym-
mero efe dann yr haul;
4 [c] Un genhedlaeth a aiff ymmaith, a chen-
hedlaeth arall a ddaw: ond y ddaiar a saif byth.
5 [d] Yr haul hefyd a gyfyd, a'r haul a fachluda,
ac a dynn iw le, lle y mae yn codi.
6 [e] Efe a aiff i'r dehau, ac a amgylcha i'r
gogledd: y mae'r gwynt yn myned oddi am-
gylch, ac yn dychwelyd yn ei gwmpas.
7 [f] Yr holl afonydd a redant i'r môr, ac etto
nid yw'r môr yn llawn: i ba le bynnac y rhedo'r
afonydd oddi yno y dychwelant eil-waith.
8 [g] Pob peth sydd yn llawn blinder, ni ddichon
neb ei draethu: ni chaiff y llygad ddigon o
edrych, na'r glust o wrando.
9 [h] Y peth a fu a fydd, a'r peth a wnaed a
wneir, ac nid oes dim newydd dann yr haul.
10 [i] A oes dim y gellir dywedyd, Edrych ar
hwn, dymma beth newydd? canys efe fu yn yr
hen amser o'n blaen ni.
11 [j] Nid oes goffa am y pethau gynt, ac ni
bydd coffa am y pethau a ddaw yn ol, gan y
rhai a ddaw ar eu hol hwynt.
12 [k] Myfi y Pregeth-wr oeddwn frenin Israel
yn Ierusalem:
13 [l] Ac a roddais fy mryd ar geisio, ac ar
chwilio am ddoethineb, am bob peth a wnaed
tann y nefoedd: (dymma drafael flin a roddes
Duw ar feibion dynnion i ymguro ynddi.)
14 [m] Mi a welais yr holl weithredoedd y rhai
sydd tann haul, ac wele y rhai hynny oll ydynt
wagedd a gorthrymder yspryd.
15 [n] Ni ellir iniawni yr hyn sydd gam, na
chyfrif yr hyn sydd ddeffygiol.
16 [o] Mi a feddyliais yn fyng-halon gan ddyw-
edyd, Wele mi a gynnyddais, ac a gesclais
ddoethineb tu-hwnt i bawb o fu o'm blaen i yn
Ierusalem, a'm calon a ddeallodd lawer o ddoeth-
ineb, a gwybodaeth.
17 [p] Mi a roddais fy mryd hefyd ar wybod
doethineb, gwybodaeth, ynfydrwydd, a ffolineb,
ac mi a wybum fod hyn hefyd yn orthrymder
yspryd.
18 [q] Canys mewn llaweroedd o ddoethineb y
mae llawer o ddig: a'r neb a chwanego wybod-
aeth a chwanega ei flinder.

## PEN. II.

*Oferedd adailadaeth, a chyfoeth. 14 Bod yr un farwolaeth gorphorol i'r doeth, ac i'r annoeth.*

AC [r] mi a ddywedais yn fy fyng-halon, Tyret
yn awr mi a gymmyscaf wîn yn llawen,
cymmer dy fyd yn esmwyth, ac wele hyn hefyd
sydd wagedd,
2 [s] Mi a ddywedais wrth y chwerthinog, Yr
ydwyt ti yn ynfydu; ac wrth y llawen, Pa beth
yr ydwyt yn ei wneuthur felly?
3 [t] Mi a fwriedais yn fyng-halon roddi fyng-
nhawd i'r gwîn (pan oeddwn yn arwain fyng-
halon mewn doethineb) ac i gofleidio ffolineb,
hyd oni welwn ai da i feibion dynnion yw yr
hyn a wnant hwy tann y nefoedd holl ddyddiau
eu bywyd.
4 [u] Mi a wneuthum fyng-waith mawr, mi a
adailadais i mi dai, ac a blennais win-llannoedd.
5 [v] Mi a wneuthym erddi a pherllannau, lle y
gosodais brennau o bob ffrwyth.
6 [w] Mi wneuthym lynnau dwfr i ddwfrhau â
hwynt y llwynau ir-goed.
7 [x] Mi a dderparais weision, a morwynion:
hefyd yr oedd i mi weinidogion caeth, ïe yr
oeddwn i yn berchen llawer o wartheg a defaid
tu hwnt i bawb oll a fuasent o'm blaen i yn
Ierusalem.
8 [y] Mi a bentyrais i mi arian ac aur, a thryssor
pennaf brenhinoedd, a thalaithau: mi a ddar-
perais i mi gantorion a chantoresau a phob
rhyw offer cerdd, difyrwch meibion dynnion.
9 [z] A mi a dyfaswn, ac a gynnyddaswn yn
fwy na neb a fuase o'm blaen i yn Ierusalem: o
blegit fy noethineb oedd yn sefyll gyd â mi.
10 [a] Beth bynnac a ddeisyfie fy llygaid, ni
ommeddwn hwynt, ni attaliwn fyng-halon oddi
wrth ddim hyfryd: ond fyng-halon a lawenyche
yn fy holl lafur, a hyn oedd fy rhan i o'm holl
lafur.
11 [b] Mi a edrychais ar fy holl weithredoedd a
wnaethe fy nwylaw, ac ar y llafur a lafuriais yn
ei wneuthur, ac wele hyn oll [oedd] wagedd a
gorthrymder yspryd, megis ac nad oes dim
buddiol tann yr haul.
12 [c] Ac am hynny mi a droais i edrych ar
ddoethineb, ac ar bob ynfydrwydd a ffolineb
(canys beth [a wnae]'r dyn a geisie ganlyn y
brenin? y peth a wnaed eusus.)
13 [d] Mi a welais yn ddiau fod elw doethineb

uwch law ffolineb, fel elw goleuni uwch law
tywyllwch.
e Sal. 49, 14 [e] Y doeth sydd ai lygaid yn ei benn: ond
10 Pen.9,11 y ffol a rodia yn y tywyllwch, ac etto mi a wel-
ais yr un damwain yn digwyddo iddynt oll.
f Phil. 3, 15 [f] Ac am hynny y dywedais yn fyng-halon Y
10 Mat.6,19 peth a ddigwydda i'r ffol a ddigwydda i minne,
20. pa beth gan hynny a dâl i mi fod yn ddoeth
mwyach? ac mi a ddywedais yn fyng-halon, Fod
hyn hefyd yn wagedd.
g Diar.10 16 [g] Canys ni bydd coffa am y doeth mwy
Act.6,26 nag am yr annoeth yn dragywydd, y pethau
sydd yr awr hon yn y dyddiau a ddaw a ollyngir
oll dros gof: ac y mae y doeth yn marw fel yr
annoeth.
Ioan 4,8 17 [h] Ac am hynny cas gennif y bywyd hwn,
Sal 1,23 canys drwg gennif y gorchwyl a wneir tann haul,
canys hyn oll ydynt wagedd a gorthrymder
yspryd.
Sal 4,4 18 [i] Cas gennif fy holl lafur, yr hwn yr ydwyfi
yn ei gymmeryd tann haul, am fod yn rhaid i mi
ei adel i'r neb a fydd ar fy ol i.
1 Bren. 19 [j] A phwy a ŵyr ai doeth ai annoeth fydd y
14 Tim. 6, neb a fydd feistr ar fy holl lafur maufi, yr hwn
ac 8, 14 mor gall a gymmerais tann haul? dymma wa-
gedd hefyd.
Rhuf.6 20 [k] Ac am hynny mi a droais ymmaith heb
obaith gennif am gael budd oddi wrth fy holl
lafur yr hwn a gymmerais i tann yr haul.
Sal. 6, 21 [l] Canys y mae dyn a lafuria yn bwyllog, yn
ac 16, 9 synhwyrol, ac yn iniawn: ac y mae yn gorfod
iddo roi rhan i'r neb ni lafuriodd yn ei geisio:
hyn hefyd sydd wagedd a gorthrymder mawr.
Esa. 3, 22 [m] Canys beth sydd yng-weddill i'r dyn
ac 14,18 hwnnw oi holl lafur a gorthrymder ei galon yr
hwn a gymmerodd efe tann haul.
Job 14,1 23 [n] Yn ei holl ddyddiau y mae gorthrymder,
Tim. 6, yn ei holl lafur y mae dig, ïe ni chymmer ei galon
127,1 seibiant liw nos: hyn hefyd sydd wagedd.
Ef. 6,34 24 [o] Nid oes daioni mewn dyn oddieithr iddo
Ef. 8 9 ef fwyta ac yfed, a pheri iw enaid gael daioni oi
Mat. 8 lafur: hyn hefyd a welais i [yn dyfod] o law
Dduw ei hun.
25 Pwy a ddichon fwynhau [daioni?] a phwy
ai mwynhae mor fuan a'm fi?
Cor. 5 26 [p] Canys i'r dyn y gwelo efe yn dda y rhydd
20 11 Duw ddoethineb, a gwybodaeth a llawenydd:
c 16 ond i'r pechadur y rhydd efe boen i gasclu, ac i
dyrru, iw roddi i'r neb y gwelo Duw yn dda:
hynny hefyd sydd wagedd a gorthrymder
yspryd.

## PEN. III.

*1 Amser sydd i bob peth. 14 Gweithredoedd Duw sy ber-ffaith, ac yn peri i ni eu hofni. 17 Duw a farn y cyfiawn a'r anghyfiawn.*

**Y** MAE amser i bob peth, ac amser i bob
ewyllys tann y nefoedd.
2 [q] Amser sydd i eni, ac amser i farw, ac amser q Gal.4 4
i blannu, ac amser i ddiwreiddio y peth a Heb 9 27
blannwyd. 1Cor.3 8 Esa. 5 5
3 [r] Amser i ladd, amser i iachau, amser i fwrw r Ex 21 13
i lawr, ac amser i adailadu.
4 [s] Amser i wylo, ac amser i chwerthin, amser s Mat. 9
i alaru, ac amser i ddawnsio. 15 Dat. 19 1
5 [t] Amser i daflu cerrig, ac amser i gasclu t 1Cor. 5
cerrig, amser i ymgofleidio, ac amser i ochel 4 Eph.4 11
cofleidio. 12 1Cor.7 5
6 Amser i geisio, ac amser i golli, amser i
gadw, ac amser i fwrw ymmaith.
7 [u] Amser i rwygo, ac amser i wnio, amser i u Amos 5
dewi, ac amser i ddywedyd. 13
8 [v] Amser i garu, ac amser i gasau, amser i v Luc 14
ryfel, ac amser i heddwch. 26
9 [w] Pa fudd i'r gweithudd o'r blinder a gym- w Mat.6,
mero efe? 27
10 [x] Mi a welais fod hyn yn flinder a roddes x Sal.11,2
Duw ar feibion dynnion i ymflino ynddo.
11 [y] [Duw] a wnaeth bob peth yn deg, ac yn y Esa. 14,
ei amser, ïe tra fyddo yr byd Duw a esyd yn eu 26 a 19, 16
calonnau hwy y gwaith a wnaeth efe o'r dech- Rhuf.11,
reuad byd y diwedd (o ddieithr peth ni ddichon 33
dyn ei gyrheuddyd.)
12 [z] Mi a wn nad oes dim well iddynt, nag i z Ioan 16,
bawb fod yn llawen, a gwneuthur daioni yn ei 5 2Cor. 3,5
fywyd.
13 [a] Hefyd pa ddyn bynnac sydd yn bwyta, a 1Cor. 10
ac yn yfed, ac yn mwynhau daioni oi holl lafur, 31
rhodd Dduw yw hynny.
14 [b] Mi a wn beth bynnac a wnel Duw ei fod b Rhuf.
yn parhau byth, ac na ellir na bwrw at [ei waith 11, 36 Iago 1,17
ef] na thynnu dim oddi wrtho: a bod Duw yn Ioan 19,
gwneuthur hyn fel yr ofne dynnion ei wyneb ef. 10 11 Mat. 8,8, 9
15 [c] Y peth a fu o'r blaen sydd yr awron: a'r Esa.10,5,
peth sydd ar ddyfod a fu o'r blaen: canys Duw 15 c Mal.3,6
ei hun a adnewydda y peth a aeth heibio.
16 [d] Hefyd mi a welais dann yr haul yn lle d Mica 7,
barn annuwioldeb: ac yn lle cyfiawnder, an- 3, 4
nuwioldeb.
17 [e] Mi a ddywedais yn fyng-halon y barna e 2Thes.1
Duw y cyfiawn a'r anghyfiawn: canys y mae 6 7 2 Cor. 5,
amser i bob ewyllys, a goruwch pob gwaith yno. 10
18 [f] Mi a ddywedaswn yn fyng-halon ar ol f Ier.9,23
rheswm dynawl, (wedi i Dduw ei hun eu ham- Sal.49.12 a 73, 22
lygu hwynt, a gweled fod y rhai hyn yn anifeil-
iaid i'r rhai eraill.)
19 [g] Fod digwydd meibon dynnion fel digwydd g Phil. 3,
yr anifeiliaid, yr un digwydd sydd iddynt, fel y 21 Dat.13,13
mae'r naill yn marw, felly y bydd marw y llall,
a bod yr un chwythad iddynt oll: ac am hynny
nid oes mwy rhagoriaeth i ddyn nag i anifail,
ond eu bod oll yn wagedd:
20 [h] Y mae y cwbl yn myned i'r un lle, un o h Phil. 1,
honynt sydd o'r pridd, a phob un o honynt a 23 Gen. 3,19
dry i'r pridd eil-waith. Luc 23, 43

i 1 Thes. 4, 17 21 [i] Pwy a edwyn yspryd dyn yr hwn sydd yn
escynn i fynu, a chwythat anifail yr hwn sydd
yn descynn i wared i'r pridd?
j 2 Cor. 1, 12 22 [j] Ac am hynny ni welwn i ddim yn well i
1 Tim. 6, 6, 7 ddyn nag ymlawenychu yn ei weithredoedd ei
hun, canys hyn yw ei rann ef: canys pwy ai
dwg ef i weled y peth fydd ar ei ol ef?

## PEN. IV.

*Gorthrymder y diniwed. 4 Ofered llafur dyn. 9 Mor angenrhaid yw cyfeillach. 13 A bod yr ieuangc call yn well na'r hen angall.*

k Sal. 41, 1 ONDD [k] drachefn wrth edrych ar yr holl rai
Esa. 59, 16 gorthrymmedig tann yr haul, yna wele
Galar. 1, 1, 2 ddagrau y rhai gorthrymmedig heb neb iw
2 Tim. 4, 16 cyssuro, ac heb nerth ynddynt [i ddiangc] allan
o law eu treis-wyr, ac heb ganddynt neb iw
cyssuro.
l Phil. 1, 21 2 [l] Mi a ganmolais y meirw y rhai sydd yn
Mat. 11, 6 barod wedi marw, yn fwy na'r byw y rhai ydynt
yn fyw etto.
m Iob 3, 11, 12, 16, 21 3 [m] Gwell na'r ddau yw'r neb ni bu yr ioed,
canys ni welodd efe y blinder mawr sydd tann
haul.
n 1 Ioan 3, 12 4 [n] Ac mi a welais fod pob llafur, a phob inion-
Phil 1, 16 deb gwaith dyn yn peri iddo genfigen gan ei
Mat. 9, 34 gymmydog, hyn hefyd sydd wagedd a gorth-
rymder yspryd.
o Mat. 25, 26 5 [o] Y ffol a wasc ei ddwylo yng-hyd, ac a fwyta
Ioan 6, 27 ei gnawd ei hun [gan ddywedyd,]
p Diar. 26, 15 6 [p] Gwell yw lloned llaw trwy lonyddwch,
na lloned dwy law trwy flinder a gorthrymder
yspryd.
7 Ond mi a droais, ac a welais [fod hyn] yn
wagedd tann yr haul.
q Esa. 5, 8 8 [q] Y mae un heb hiliogaeth iddo: i'r hwn nid
1 Ioan 2, 16 oes na mab na brawd, ac etto nid oes diwedd ar
ei lafur ef oll: ïe ni chaiff ei lygaid ddigon o
gyfoeth, [ni ddywed efe,] I bwy yr ydwyf yn
llafurio, gan ddiddyfnu fy enaid oddi wrth hyf-
rydwch? hyn hefyd sydd wagedd, ac dymma
drueni blin.
r 1 Cor. 12, 8 9 [r] Gwell yw dau nag un, o achos bod iddynt
Marc 6, 7 obr da am eu llafur.
s Ioan 8, 16 10 [s] Canys os syrthiant, y naill a gyfyd y llall,
Heb. 10, 24 ond gwae yr unic: canys pan syrthio efe nid
oes ail iw gyfodi.
t 1 Bren. 1, 1, 2 11 [t] Hefyd os dau a gyd orweddant hwy a ym-
Eph. 2, 19 gynhesant, ond yr unic pa fodd y cynnesa efe?
u Dan. 3, 17 12 [u] Os cryfach fydd rhyw un na'r naill o ho-
nynt hwy, hwythau ill dau ai gorchfygant yntef,
ond rhaff deircaingc ni thorrir ar frys.
v 1 Tim. 4, 12 13 [v] Gwell yw bachgen tlawd a doeth, na bre-
1 Bren. 22, 6 nin hen ac ynfyd, yr hwn ni feidr gymmeryd
rhybydd mwyach.
w Gen. 41, 14 14 [w] Canys y [naill] sydd yn dyfod allan o'r
Dan. 4, 31 carchar-dy i deyrnasu, a'r llall a anwyd yn y
frenhiniaeth [i fod] yn dlawd.
15 [x] Mi a welais y rhai byw oll y rhai ydynt x 1 Sam. 15, 6
yn rhodio dann yr haul, yn nesau at yr ail mab
yr hwn sydd i deyrnasu yn ei ol ef.
16 [y] Nid oes diben ar yr holl bobl [sef] ar y Diar. 14, 28
bawb a fu oi blaen hwynt, a'r rhai olaf ni law- Dat. 17, 13
enychant ynddo yntef: gwagedd yn ddiau a Esa. 57, 20
blinder yspryd [yw] hyn hefyd.
17 [z] Gwilia ar dy droed pan fyddech yn myned z 1 Pedr 1, 2
i dŷ Dduw, a bydd barottach i wrando nag i Act. 10, 33
roi aberth ffoliaid, canys ni wyddant hwy eu bod 1 Sam. 15, 22
yn gwneuthur drwg.

## PEN. V.

*Mor dda yw ymadroddion pwyllog. 9 A maint chwant y cybydd.*

NA [a] fydd [ry] brysur a'th enau, ac na frys- a Diar. 20, 25
ied dy galon i draethu dim ger bron Duw: Mat. 6,
canys Duw sydd yn y nefoedd a thithe sydd ar y 5, 6, 7
ddaiar, ac am hynny bydded dy eiriau yn anaml.
2 [b] Canys megis ag y daw breuddwyd o dra- b Iago 1, 19
llod lawer: felly [y daw] ymadrodd ffol o law- Diar. 10, 19
eroedd o eiriau.
3 Pan addunedech adduned i Dduw, nac
oeda ei thalu, canys nid oes ganddo flas ar rai
ynfyd, y peth addunedaist tâl.
4 [c] Gwell yw i ti fod heb addunedu, nag i ti c Act. 5, 4
addunedu, a bod heb ei dalu.
5 [d] Na âd i'th enau beri i'th gnawd bechu, ac d 1 Cor. 11, 10
na ddywet ger bron yr angel, anwybodaeth yw Dat. 4, 1
hyn: pa ham [y peri] i Dduw ddigio o herwydd Act. 5, 5
dy eiriau, fel y difetha efe weithred dy ddwy-
law di?
6 Canys mewn llaweroedd o freuddwydion
y mae gwagedd, felly mewn llawer o eiriau: ond
ofna di Dduw.
7 [e] Os gweli dreisio y tlawd, a bwrw i lawr e Sal. 12, 5
farn a chyfiawnder yn y wlad: na ryfedda o 1 Bren. 21, 19
achos hyn, canys y mae uchel yn gwilied ar Dan. 12, 1
uchel, y mae [un] sydd uwch na hwynt.
8 [f] Cynnyrch y ddaiar sydd uwch law pob f Gen. 41, 47
peth: wrth dir llafur y mae y brenin yn byw. 2 Cron. 26,
9 [g] Y neb a garo arian ni ddigonir ag arian, 10 g 1 Tim. 6,
a'r neb a hoffo olud ni chaiff lesad: hyn hefyd 10 Sal. 52, 7
sydd wagedd. 1 Bren. 21,
10 [h] Lle y byddo llawer o dda y bydd llawer 6 Diar. 30,
iw ddifa: pa fodd gan hynny i'r perchenuog ond 15 h Nah. 2,
golwg ei lygaid. 12
11 [i] Melus yw hûn y gweith-wr pa un bynnac Sal. 49, 17 i Sal. 127,
ai bychan ai llawer a fwytto efe: ond llawnder 2
y cyfoethog ni âd iddo gysgu.
13 [j] Y mae trueni a welais tann yr haul, cyfoeth j 1 Bren. 21, 4
wedi eu cadw yn niwed iw perchennog. Luc. 12,
13 Derfydd am y cyfoeth hynny trwy drueni Mat. 13, 22
blîn, ac os ennill efe fab ni [ddaw] dim i law k Iob 1, 21
hwnnw. 1 Tim. 6, 7
14 [k] Yn noeth y daeth o grôth ei fam, yn Diar. 23, 4 Sal. 51, 5

noeth drachefn yr aiff ymmaith modd y daeth, ac nid arwain ddim oi lafur gyd âg ef.

15 Am hynny hefyd dymma ofid blin, yn hollawl y modd y daeth, felly yn hollawl yr aiff efe ymmaith, pa fudd [sydd] iddo am lafurio yn ofer?

l Iob 30,8 Ester 3,5 a 5,13 16 l Ei holl ddyddiau y bwyta efe mewn tywyllwch, mewn digter mawr, gofid, a llid.

m Sal. 16, 5 a 73, 26 17 m Wele beth a welais i, yn dda a theg [i ddyn,] bwytta, ac yfed a chymmeryd byd da oi holl lafur a lafurio tann yr haul holl ddyddiau ei fywyd y rhai a roddes Duw iddo: canys hynny yw ei ran ef.

n 2 Thes. 3, 10 18 n Ie i bwy bynnac y rhoddes Duw gyfoeth a golud, ac i bwy bynnac y rhoddes efe rydddid i fwyta o honynt, ac i gymmeryd ei ran, ac i lawenychu yn ei lafur, rhodd Duw yw hyn.

o Sal. 4,6, 7 Esa 64, 5 Rhuf. 5,1 19 o Canys ni fawr gofia efe ddyddiau ei fywyd am fod Duw yn fodlon i lawenydd ei galon ef.

## PEN. VI.

*Ofered yw cael cyfoeth heb gael ei mwynhau.*

p Sal. 17, 14 a 73, 7 Iob 21, 25 Luc 12, 20 Y p MAE drwg a welais tann haul, a hwnnw yn fawr ym mysc dynnion.

q 2 Cron. 1, 21 Iob 21, 23 Ier. 22, 19 1 Sam. 31, 6 1 Bren. 9, 16 2 q Gŵr i'r hwn y rhoddo Duw gyfoeth a thryssorau, ac anrhydedd, heb arno eisieu dim a ddymuno: a Duw heb roi gallu iddo iw mwynhau: ond gŵr estron ai mwynha, dymma wagedd a gofid blin.

3 Os gŵr a ennill gant o blant, ac a fydd byw lawer o flynyddoedd, er bod dyddiau ei flynyddoedd yn aml, os ei enaid ni ddiwellir â'r golud hwnnw, ac oni's bydd iddo gladdedigaeth, mi a ddywedaf mai gwell yw yr erthyl.

r Sal. 51, 4 Diar. 10, 4 r Canys mewn oferedd y daeth [hwnnw,] ac yn y tywyllwch y rhodia, ei enw a guddir â thywyllwch.

s Iob 14,1 5 s Ni welodd chwaith mo'r haul, ac ni's adnabu, [a] mwy o lonyddwch sydd i hwn nag i'r llall.

t Esa. 65, 20 6 t Pe bydde efe fyw ddwy-fil o flynyddoedd, heb fwynhau byd da: onid i'r un lle yr aiff pawb?

u 1 Tim. 6 7 u Holl lafur dyn sydd yn myned i'r safn, ac Esa 6, 26 etto ni ddiwellir ei feddwl ef.

v Mat. 6, 6 Cor. 2, 9 8 v Canys pa ragoriaeth sydd rhwng y doeth a'r annoeth? pa [ragor] rhwng y cyfoethog a'r tlawd, tra fyddant yn rhodio ym mysc y byw?

w Num. 13, 10 1 Ioan 3, 2 9 w Gwell yw golwg y llygaid nag ymdaith yr enaid: hyn hefyd sydd wagedd a gorthrymder yspryd.

x Esa. 45, 9 10 x Beth bynnac sydd, y mae henw arno: ac mae yn hyspys mai dyn yw efe: ac ni ddichon efe ymryson â'r neb sydd drechach nag ef.

y Dat. 3, 17 11 y Lle y byddo llawer o bethau, hwy a amlhant wagedd, beth sydd mwyach i ddyn?

z Iob 11, 12 Sal. 39, 6 12 z Canys pwy a ŵyr beth sydd dda i ddyn yn y bywyd hwn oll ddyddiau ei fywyd ofer, y rhai a bassia efe fel cyscod? pwy a ddengys i ddyn y peth a ddigwydd iddo ar ol hyn tann yr haul?

## PEN. VII.

*Cyngherion i ganlyn yr hyn sydd dda, ac i ochelyd yr hyn sydd ddrygionus.*

GWELL a yw enw da nag ennaint gwerthfawr, a gwell yw dydd marwolaeth na dydd genedigaeth. a Diar. 22, 1 Dat. 14, 13 1 Ioan 3, 2

2 b Gwell yw myned i dŷ y galar na myned i dŷ'r wledd, canys yno y mae diwedd pob dyn, a'r neb sydd fyw a esyd hynny at ei galon. b Ier. 16, 8 Dan. 5, 1, 2

3 c Gwell yw digter na chwerthin: canys trwy dristwch yr wyneb-pryd y gwellheir y galon. c 2 Cor. 7, 10

4 d Calon doethion fydd yn nhŷ y galar: ond calon ffyliaid fydd yn nhŷ llawenydd. d Neh. 1, 4 Esa. 22, 12

5 e Gwell yw gwrando senn y doeth na gwrando cân ffyliaid. e Act. 2, 37

6 f Canys chwerthiniad dyn ynfyd sydd fel clindarddach drain tann grochan, dymma wagedd hefyd. f Iob 20, 5

7 g Trawsedd a ynfyda'r doeth, a rhodd a ddifwyna yr galon. g Ier 20, 7

8 h Gwell yw diweddiad peth nai ddechreuad, gwell yw yr dioddefgar na'r balch. h Luc 16, 25 Phil. 4, 5

9 i Na fydd gyflym yn dy yspryd i ddigio: o blegit dig sydd yn gorphywys ym mynwes ffyliaid. i Iago 1, 19 Ioan 4, 9

10 j Na ddywet, Pa ham y bu yr dyddiau o'r blaen yn well na'r dyddiau hyn? canys nid doethineb yw gofyn am y peth hyn. j Barn. 6, 13 Ier. 44, 17

11 k Da yw doethineb gyd âg etifeddiaeth, ac elw i'r rhai sydd yn edrych ar yr haul. k Iob 1, 21

12 l Canys rhai a lechant yng-hyscod doethineb, a rhai eraill yng-hyscod arian, ond mwy yw'r elw oddi wrth wybodaeth, a doethineb yr hon a geidw ei pherchennog yn fyw. l Iob 1, 10 Diar. 14, 20

13 m Edrych ar orchwyl Duw: canys pwy a all iuioni'r peth a gammodd efe? m Sal 107, 34 Esa. 14, 27

14 n Pan fyddo i ti fyd da, cymmer dy fyd yn dda, a phan fyddo i ti ddryg-fyd ymarfer âg ef: Duw ei hun sydd yn gwneuthur y naill yngwrthwyneb y llall, yn y fath wedd na ddichon dyn gael dim [yn feius] ar ei ol ef. n Lef. 26, 47 48

15 o Hyn oll a welais yn nyddiau fyng-wagedd, y cyfiawn yn diflannu yn ei gyfiawnder, a'r annuwiol yn estyn [ei ddyddiau] yn ei ddrygioni. o 1 Bren. 21, 13 Esa 57, 10

16 p Na fydd rhy gyfiawn, ac na chymmer arnat fod yn rhy ddoeth: rhag difetha dy hun. p Phil. 3, 6 Rhuf. 10, 3

17 q Na fydd [rhy] annuwiol, na [rhy] ffol, rhag dy farw cyn dy amser. q Mat. 23, 32 Mat. 27, 5

18 r Da i ti ymafel yn hyn, ac oddi wrth hyn na ollwng dy law: y neb a ofno Dduw a ddiangc allan o hyn oll. r Heb. 4, 8 Dan. 4, 27 Ier. 38, 40

19 s Doethineb a nertha'r doeth, yn fwy na dec s 2 Cor. 16, 19

o bennaethiaid, y rhai a fyddant mewn dinas.
t Rhuf. 3, 23 20 [t] Yn nid oes dyn cyfiawn ar y ddaiar
yr hwn a wna ddaioni ac ni phecha.
u 2 Sam. 16, 10 21 [u] Na ddod ti dy feddwl ar bob gair a ddy-
weder: canys ni ddyleit ti wrando ar dy wâs yn
dy felldithio.
v Tit. 3, 3 Mat. 7, 1, 2 22 [v] Canys llawer gwaith y gŵyr dy galon
ddarfod i ti dy hun felldithio eraill.
w Rhuf. 1, 22 Diar. 30, 2. 23 [w] Hyn ôll a brofais mewn doethineb, mi a
ddywedais, Yr ydwyf yn ddoeth, a bithe ym
mhell oddi wrthif.
x 1 Thes. 6, 16 Rhuf. 11, 33 24 [x] Y peth pellaf a fu, a'r peth dyfnaf pwy ai
caiff?
Eph. 3, 18 25 Mi a droais, â'm holl galon i ddeall, ac i
chwilio, ac i geisio doethineb, a rheswm: ac i
adnabod annuwioldeb ffolineb, ac ynfydrwydd
amryfusedd.
y 1 Bren. 11, 3, 4 Dat. 17, 4, 5 Barn. 16 18 Gen. 39, 8 26 [y] Ac mi a welais beth chwerwach nag angeu,
sef gwraig: yng-halon yr hon y mae rhwydau
a maglau, a rhwymau yn ei dwylo: y neb sydd
dda gan Dduw a waredir oddi wrthi hi, ond
hi a ddeil bechadur.
27 Wele hyn a gefais (medd y pregeth-wr) wrth
chwilio o'r naill [beth] i'r llall i geisio rheswm:
z Mat. 7, 13 1 Tim. 2, 14 28 [z] Yr hwn beth y chwiliodd fy enaid am da-
no, ac ni chefais, un gŵr a gefais ym mhlith mil,
ond un wraig yn eu plith hwynt oll ni's cefais.
a Gen. 1, 26 a 3, 6, 7 Sal. 12, 1 29 [a] Wele hyn yn unic a gefais [sef] gwneuth-
ur o Dduw ddŷn yn iniawn: ond hwy a chwil-
iasant am lawer o ddychymmygion.
b Deut. 4, 6 Act. 6, 15 Marc 6, 20 30 [b] Pwy sydd debyg i'r doeth? a phwy sydd
debyg i'r neb a fedro ddeongl peth? doethineb
gŵr a lewyrcha ei wyneb, a nerth ei wyneb ef
a newidir.

## PEN. VIII.

*Am ufyddhau i dywysogion, a phennaethiaid. 17 Gweith-redoedd Duw sy uwch law pob gwybodaeth.*

c Ezra 17, 18 YR [c] ydwyf [yn dy rybuddio di] i gadw
gorchymyn y brenin, a gair llw Dduw.
d 1 Sam. 20, 1 Dan. 5, 19 2 [d] Na ddos oi olwg yn gyffrous, na saf mewn
peth drwg: canys efe a wna a fynno ei hun.
e Job 34, 18 1 Sam. 12, 12 3 [e] Lle y byddo gair y brenin y mae awdurdod:
pwy a ddywed wrtho? Beth yr wyt ti yn ei
wneuthur?
f Ex. 1, 17 Hos. 5, 11 1 Sam. 25, 36 4 [f] Y neb a gadwo y gorchymyn ni wêl ddrwg:
eithr calon y doeth a edwyn amser, a barn.
g Luc 19, 42, 44 5 [g] Canys y mae amser a barn i bob ewyllys:
ond drygioni dyn sydd yn fawr yn ei erbyn ef.
h Ier. 10, 23 Num. 14 42 6 [h] Ni ŵyr [dyn] beth sydd ar ddyfod, canys
pwy a ddengys iddo pa fath beth a ddaw?
i Esa. 28, 15 7 [i] Nid yw dyn yn arglwyddiaethu ar yr ys-
pryd i attal yr yspryd, ac nid oes rhydd-did yn
nydd marwolaeth, ac nid oes arf a wareda yn y
rhyfel, ac nid achub annuwioldeb ei pherchenog.
j 1 Bren. 11, 33 8 [j] Yr holl bethau hyn a welais i, ac mi a ys-
tyriais bob gorchwyl a wneir dan haul, y mae
amser pan arglwyddiaetha dyn ar ddyn er drwg
iddo.
9 [k] Mi a welais gladdu y rhai annuwiol, ac hwy k Luc 16, 22
a ddaethant eilwaith: ac [eraill] a aethant o'r lle Sal. 82, 1
sanctaidd, a hwy a ebergofwyd yn y ddinas lle y Diar. 10, 7
gwnaethent gyfiawnder: gwagedd yw hyn hefyd.
10 [l] O herwydd nad oes gyfraith i gospi drwg l Sal. 10, 21
yn fuan: am hynny calon plant dynion sydd
yn llawn ynddynt i wneuthur drwg.
11 [m] Er bod i Dduw estyn dyddiau pechadur m Rhuf. 2, 5
yr hwn a wnaeth ddrwg gan-waith: etto mi a 2 Ped. 3, 9
wn y daw daioni i'r rhai a ofnant Dduw, ac a Mat. 25, 34
arswydant rhagddo ef.
12 [n] Ond ni bydd daioni i'r annuwiol, ac ni n Esa. 3, 8
estyn efe ei ddyddiau: cyffelyb i gyscod yw efe:
canys nid ofna efe wyneb Duw.
13 [o] Y mae gwagedd a wneir ar y ddaiar, bod o 1 Cor. 11, 32
y cyfiawn yn damwain iddynt yn ol gwaith y Dan 11, 35
drugionus: ar drugionus yn digwyddo iddynt Sal. 37, 11
yn ol gwaith y cyfiawn: mi a ddywedais fod Act. 20, 21
hyn hefyd yn wagedd.
14 [p] Ac am hynny mi a gan-molais lawenydd, p 1 Cor. 10, 31
nid oes dim da i ddyn dann haul, ond bwyta
ac yfed, a gwneuthur yn llawen, hynny sydd i
ddyn oi lafur ddyddiau ei fywyt y rhai a roddes
Duw iddo tann yr haul.
15 [q] Pan osodais i fyng-halon i ddeall doeth- q Ier. 19, 1 Iob 9, 10
ineb, ac i edrych ar y drafferth a wneir ar y
ddaiar, er i ddyn na wnelo hûn âi lygaid na
dydd na nos.
16 [r] Yna mi a welais am holl orchwyl Duw, r Sal. 93, 5
na ddichon dyn ddeall y gwaith a wneir tann Iob 10, 2
haul, er i ddyn lafurio i geisio, etto nis caiff, ïe a 40, 8 a 42, 5
pe meddylie y doeth fynnu gwybod, etto ni chae Ier. 17, 9 Sal. 73, 17
efe [hynny.]

## PEN. IX.

*Drwy arwydd gweledig ni ellir gwybod pwy y mae Duw yn ei garu neu yn ei gasau. 12 Ni ŵyr neb ei ddiwedd. 16 Doethineb sydd yn rhagori ar nerth.*

AC [s] mi a ystyriais hyn oll yn fyng-halon ar s Mal. 3, 5 Rhuf. 8, 20
fedr dangos hyn hefyd: bod y cyfiawn a'r
doethion, ai gweithredoedd yn llaw Duw, fel
na ŵyr dynnion [pa un a gant] ai'r peth a garant,
ai'r peth a gasant o'r hyn oll sydd oi blaen.
2 [t] Yr un peth [a ddamwain] i bawb yn gystal t Rhuf. 8, 16
ai gilydd, yr un peth a ddamwain i'r cyfiawn, Dat. 14, 13
ac i'r annuwiol, i'r da, i'r glan, ac i'r aflan, i'r Ioan 5, 24
neb a abertha, ac i'r neb ni abertha, i'r gŵr da
megis i'r pechadur, i'r neb a dyngo [yn hawdd.]
ac i'r neb a ofno dyngu.
3 [u] Dymma'r peth gwaethaf o'r holl bethau u Iob 21, 13
tann haul [sef] bod yr un diben i bawb, hefyd Mal 3, 13
bod calon meibion dynnion yn llawn drygioni,
ai calon yn [cynnwys] pob ynfydrwydd tra
fyddant fyw, ac yn ol hynny eu bod yn myned
at y meirw.

v Ezec. 4 [v] Tra fyddo neb yng-bymdeithas y rhai byw
29,19 oll, y mae iddo ef obaith: canys gwell yw ci
byw na llew marw.
w Luc 2, 5 [w] O herwydd y rhai byw a wyddant y bydd-
29 Job 14, 21 ant feirw, ond nid oes dim gwybodaeth gan y
1 Cor. 15, meirw, ac nid oes iddynt obr mwyach, canys
18 Esa. 49.4 eu coffa hwynt a anghofir.
x Sal. 17, 6 [x] Methodd y peth a garant, a'r peth a gasa-
14 1 Pedr 1, ant, a'r peth a ddeisyfasant, ac nid oes iddynt
4, 5 gyfran byth o ddim oll sydd tann yr haul.
y Luc 12, 7 [y] Dos, bwyta dy fwyd yn llawen, ac yf dy
19, 14 Diar. 9,5 wîn â chalon hyfryd, canys pa bryd bynnac,
cymmeradwy fydd gan Dduw dy weithredoedd.
z Act. 5, 8 [z] Bedded dy ddillad yn lân bob amser, ac na
1 fydded diffig olew [iw dywallt] ar dy benn.
a 1 Cor. 7, 9 [a] Dwg dy fyd gyd â'th wraig annwyl holl
2 Thes. 3, ddyddiau dy fywyd ofer y rhai a roddes Duw
10, 11 i ti tann yr haul [sef] dy holl ddyddiau ofer,
canys dyna dy rann di yn dy fywyd, ac yn dy
lafur yr hwn a gymmeri tann yr haul.
b Eph. 5, 10 [b] Beth bynnac a ymafel dy law ynddo iw
6 Cor. 16, wneuthur, gwna â'th oll egni, canys nid oes na
10 gwaith na dychymmyg, na gwybodaeth, na
doethineb yn y bedd lle yr wyt ti yn myned
c Amos 2 11 [c] Mi a droais ac a welais tann haul, nad yw
1 Sam. 17 rhedfa eiddo'r cyflym, na'r rhyfel yn eiddo'r
Iag. 1, 5, cedyrn, na'r bwyd yn eiddo'r doethion, na chy-
foeth yn eiddo'r pwyllog, na ffafr yn eiddo
dyscedig: ond amser, a damwain a ddigwydd
iddynt oll.
d 2 Pedr 12 [d] Ië ni ŵyr dyn ei amsar mwy na'r pysc a
, 12 1 Thes. 5, ddelir â'r rhwyd, mwy na'r adar a ddelir yn y
3 Luc 17, 16 delm: fel y rhai hyn, felly y delir plant dynnion
yn amser blinder, pan syrthio efe arnynt hwy
yn ddisymmwth.
13 Hefyd y doethion hyn a welais i tann haul,
ac sydd fawr gennif fi.
e 2 Sam. 14 [e] [Yr oedd] rhyw ddinas fechan, ac ynddi
20, 15 2 Bren. 7, ychydig o bobl, a brenin galluog a ddaeth yn ei
1 Pedr 5 8 herbyn hi, ac ai hamgylchynodd, ac a gododd
glawdd uchel yn ei herbyn.
f Mat. 8, 15 [f] A chafwyd ynddi ŵr tlawd doeth, yr hwn
Diar. 11, ei hunan a waredodd y ddinas honno âi ddoeth-
1 Esa. 53 3 ineb, etto ni choffae neb am y gŵr tlawd hwnnw.
g 2 Cron. 16 [g] Yna y dywedais, mai gwell yw doethineb
9, 12, 1, Diar. 18, na nerth, er bod yn dirmygu doethineb y tlawd,
ac heb wrando ar ei eirian ef.
h Marc 6, 17 [h] Geiriau y doethion isel eu gradd a ddylid
, 3 eu gwrando rhagor bloedd pen-llywydd ai ffyl-
iaid gyd âg ef.
i Esa. 7, 5 18 [i] Gwell yw doethineb nag arfau rhyfel, ond
Iago 2, 10 un pechadur a ddinistria lawer o ddaioni.

## PEN. X.

*1 Yr rhagoriaeth sydd rhwng ynfydrwydd a doethineb. 16 Am frenhinoedd ffol, a thywysogion meddwon.*

j 2 Cron. GWYBED [j] meirw a ddrewant, ac a ddi
9, 2 fwynant ennaint yr apothecari: felly
Sam, 19,
ychydig ffolineb [a ddifwyna] ŵr ardderchog o
herwydd ei ddoethineb ai anrhydedd.
2 [k] Calon y doeth sydd yn ei ddeheu-law, a k Col 3, 1
chalon y ffol yn ei law asswy. Mat. 6, 33 Luc 14 28
3 [l] Canys y ffol pan rodio ar y ffordd sydd 33
ynfyd ei galon, ac yn dywedyd wrth bawb ei l 1 Pedr 4, 4
fod yn ffol. Diar. 17, 28
4 [m] Pan gyfodo yspryd pennadur yn dy erbyn a 28, 2
di, nac ymado a'th le canys gŵr gostyngedig a m 1 Sam. 25, 28
ostega bechodau mawrion. Diar. 15 1
5 [n] Y mae drwg [yr hwn] a welaf fi tann yr n 1 Bren. 12, 8
haul cyffelyb i gyfeiliorni yr hwn sydd yn dyfod Ester 3, 1
oddi wrth y llywydd,
6 [o] Gosod ffyliaid mewn graddau uchel, a'r o Iago 2, 5
cyfoethog yn eistedd mewn lle isel. Heb 11,
7 [p] Mi a welais weision yn marchogaeth ar 37,
feirch, a thywysogion yn myned fel gweision ar p Dat. 17, 3
eu traed Diar. 30, 22
8 [q] Y sawl a gloddio bwll a syrth ynddo, a'r q Ester 7 10
neb a fwrio gae i lawr sarph ai brath ef. Barn. 9,
9 Y sawl a symudo gerrig a geiff ddolur oddi 53 2 Sam. 15,
wrthynt: a'r neb a hollto goed a gaiff niwed 12
oddi wrthynt,
10 [r] Os wedi i'r fwyall bylu ni hogir ei min hi, r 1 Bren. 3, 9
ond ymdrechu â hi, etto ddoethineb a iniawne'r 2 Cron. 19
[gwaith] yn rhagorol. 5
11 Os brath sarph heb [ei] swyno, ni [bydd]
rhagor rhyngddi a pherchen tafod [drwg.]
12 [s] Geiriau genau'r doeth ydynt rasol: ond s Eph. 4, 29
gwefusau'r ffol ai difetha ef ei hun. Sal. 53, 1
13 [t] Ffolineb yw dechreuad geiriau ei enau ef, t Act. 24, 2
a diweddiad geiriau ei enau sydd anfad ynfyd-
rwydd.
14 [u] Er i'r ffol ddadwrdd llawer o eiriau: etto u Iago 4, 13
ni ŵyr neb beth a ddywed, a phwy a fynega
iddo ef, pa beth fydd ar ei ol ef?
15 [v] Llafur y ffyliaid ai blina eu hunain: canys v Act. 9, 6
nid oes un o honynt a ŵyr y ffordd i'r ddinas. Diar. 13,
16 Gwae di'r wlad sydd a bachgen yn frenin i 16
ti, a'th dywysogion yn bwyta yn foreu.
17 Ond gwyn dy fyd di y deyrnas sydd a'th
frenin wedi ei eni o bendefigion, a'th dywysogion
yn bwyta eu bwyd yn ei hamser, er cryfder, ac
nid er diotta.
18 Drwy seguryd y pydra y tylathau, ac wrth
laesu'r dwylo y gollwng y tŷ ddefni.
19 Arlwyant wledd i wneuthur yn llawen, a
gwîn a laweunycha y rhai byw, a thrwy arian y
ceir hyn oll.
20 [w] Na felldithia'r brenin yn dy galon, ac yn w 2 Sam. 16, 7
dy ddirgel stafell na felldithia'r cyfoethog: canys Ester 2, 21, 23
ehediaid yr awyr a gyhoeddant dy lais, a'r ad-
eryn a ddatguddia'r gair.

## PEN. XI.

*Am haelioni a gobaith da. 8 Ofered yw pethau bydol.*

BWRW [x] dy fara rhyd wyneb y dyfroedd, x Luc 6, 30
a thi ai cei o fewn llawer o ddyddiau. 2 Cor. 9 7 Heb 6 10

yTim.6, 18 2 y Dyro ran i saith, neu hefyd i wyth: canys
Gal.6,9, 10 ni wyddost pa ddrwg a ddigwydd ar y ddaiar.
zSal.112, 9 3 z Pan fo'r cwmylau yn llawn, hwy a ddef-
Luc.19,8 nynnant ar y ddaiar: pa un bynnac ai i'r dehau
ai i'r gogledd y syrth pren, pa le bynnac y syrth-
io y pren, yno y bydd efe.
aMat.16, 24 4 a Y neb a wilio ar y gwynt ni haua: a'r neb
Diar. 4, 25 a edrycho ar y cwmylau ni feda.
Ioan 3,8 5 Megis ac nis gwyddost ffordd y gwynt, nac
pa fodd y [ffurfheir] yr escyrn yng-hroth y feich-
iog: felly ni ddeallai waith Duw yr hwn sydd
yn gwneuthur y cwbl.
bHos.10, 12 6 b Yn foreu haua dy had, a phrydnawn na
laesa dy law, canys ni wyddost beth sydd in-
iawn, ai hyn ymma ai hyn accw, ai yntef da
fyddant ill dau.
cIoan 17 7 c Melus yn ddiau yw'r goleuni, a da yw i'r
Iobes, 28 llygaid weled yr haul.
dTim.6, 18 8 d Ond pe bydde dyn fyw lawer o flynydd-
oedd, a gwneuthur yn llawen ynddynt oll, etto
Luc 16,1 rhaid yw meddwl am ddyddiau tywyllwch er
Job 14,12 bod i ddyn flynyddoedd lawer, etto beth bynnac
a ddigwydda oferedd yw.
e Luc 15, 13 9 e Gwna yn llawen ŵr ieuangc yn dy ieu-
Dat. 18,7 engtid, a llawenyched dy galon yn nyddiau dy
Rhuf.2 6 11 ieuenctid, rhodia yn ffyrdd dy galon, ac yn ol
trachwantau dy lygaid, ond gwybydd y geilw
Duw ei hun di i'r farn am hyn oll.

## PEN. XII.

*Na ddylid oedi duwioldeb. 8 I ba le yr aiff dyn. 12 Pa athrawiaeth sydd iw dilyn.*

f Cor.7,1 BWRW f ddig allan o'th galon a thro ym-
2 Tim. 2, 22 maith ddrwg oddi wrth dy gnawd: canys
mebyd ac ieuengtid ydynt wagedd:
gGalar.3, 27 2 g A choffa dy Greawdr yn nyddiau dy ieu-
Hos. 7, 9 engtid cyn dyfod dyddiau blin, a nesau'r blyn-
yddoedd yn y rhai y dywedi, nid oes i mi yn yr
rhai hyn ddim ddiddanwch:
3 Cyn tywyllu'r haul, a'r goleuni a'r lleuad, a'r
sêr, a chyn dymchwelyd y cwmylau ar ol glaw.
4 h Yr amser y cryna ceidwaid y tŷ, ac y crym- hSal.76,5
ma y gwŷr cryfion, ac y metha y rhai sydd yn
malu wedi eu treulio, ac y tywylla y rhai sydd
yn edrych drwy ffenestri.
5 i A chaeu'r pyrth oddi allan, pan ballo swn i2Sam.19, 35
y felin, a chyfodi wrth lais yr aderyn, a thynnu
i lawr holl ferched cerdd.
6 j Ië [yr amser] yr ofnant beth uchel, ac yr jHeb.
arswydant yn y ffordd, ac y blodeua'r pren Al-
mon, ac yr ymlwytha y ceiliog rhedyn, a thorri
chwant, pan elo dyn i dŷ ei dragwyddoldeb, a'r
galarwyr yn myned o bob tu [iddo] yn yr heol.
7 Cyn torri yr edef arian, a chyn torri yr cawg
aur, a chyn torri'r piser ger llaw'r ffynnon, a
chynn torri'r olwyn wrth y pydew.
8 k Pan ddychwelo'r pridd i'r ddaiar fel y bu kGen.3, 19
gynt, ac i'r yspryt ddychwelyd at Dduw yr hwn Phil.
ai rhoes ef.
9 l Gwagedd o wagedd (medd y pregeth-wr) lSal.
gwagedd yw'r cwbl.
10 Yr oedd y pregeth-wr etto yn ddoethach, m Act.
efe a ddyscodd wybodaeth i'r bobl, a thrwy fe- Mat.
fyrio a thrwy chwilio efe a wnaeth lawer o ddi-
harebion.
11 Chwiliodd y pregeth-wr am eiriau melus,
ac scrythur iniawn, a geiriau gwirionedd.
12 m Geiriau'r doethion ydynt gyffelyb i sym-
bylau, a chyffelyb i hoelion cynnull-wyr wedi eu
gyrru i mewn y rhai a roes yr un bugail.
13 n Am hynny, yn hytrach fy mab cymmer
rybudd wrth hyn, canys nid oes diben ar wneuth-
ur llyfrau lawer, darllen llawer o lyfrau a dde-
ffygia y cnawd.
14 Swm y cwbl a glywyd [yw,] Ofna Dduw a
chadw ei orchymynnion: canys hyn yw holl
ddyled dyn.
15 o Canys Duw a ddwg bob gweithred i'r farn,
a phob peth dirgel, pa un bynnac ai drwg ai da.

*TERFYN LLYFR Y PREGETH-WR.*

# LLYFR CANIADAU SALOMON,

YR HWN YN HEBRÆ-AEC A ELWIR

**Shir Hashirim**, ac yn Lladin **Canticum Canticorum.**

TRYDYDD Llyfr Salomon yr hwn a elwir Can y Caniadau, neu Gywydd y Cywyddau: sef yr ardderchoccaf o fil a phump o ganiadau y rhai a wnaeth efe. Y mae y pedair pennod cyntaf yn cynnwys y geiriau mwyn-serch rhwng Crist ai eglwys; i ddangos hoffed a thecced gan bob un ei gilydd. Yn y bummed bennod y mae'r eglwys drwy edifeiriol ofid yn cydnabod ei ysceulustra yn peri i Grist sorri: gan ddangos ei dolurus gŵyn am ei golli tros amser, ai diwyd ofal iw geisio trachefn, ai disigl ffydd na's collase hi ef mor llwyr, nad oedd efe yn eiddo hi, a hithe yn eiddo yntef etto. Ac

yn y tair pennod diweddaf y mae Crist yn gymmodlon yn ei diddanu hi, a phob un yn dangos brydferthed ganddynt ei gilydd. Er bod geiriau y llyfr hwn yn serchogaidd. etto y mae y deall yn ysprydol: heb ynddo na gwŷn cnawdol, nac anlladrwydd anian ol Eithr fel y dealle dyn odidawgrwydd Crist ynddo ei hun, ai serch iw ffyddloniaid: Y mae yr Yspryd Glan ymma yn arfer ymadroddion hyspus i ddyn, ac yn rhoddi i Grist, ac iw eglwys eiriau arferol rhwng dau ddyn ieuangc yn caru: neu ddau briod yn hoffi ei gilydd. Felly mewn mannau eraill o'r Scrythur Lan y mae yr un Yspryd yn cyffelybu undeb. a thegwch Crist ai eglwys i ddyweddi, neu briodas ar ammodau cariad, a gwychter a berthynant i hynny, fel y gwelir, *Ezeciel* 16, 8. *Osea* 2, 19. *Psal.* 45, 10. *Matth.* 22, 2.

---

## PENNOD I.

*Mwynaidd a hyfryd ymddiddanion rhwng Crist ai eglwys mewn serch ysprydol.*

### CAN *CANIADAU SALOMON.

a 1 Bren. 4, 32 — CUSANED [b] fi â chusanau ei fin, canys
b Ioan 3, 29 Eph. 5, 25 — gwell yw dy gariad na gwîn.
c 2 Cor. 2, 14 — 2 [c] O herwydd arogl dy enaint daionus, olew
Phil 2, 9 — tywalltedic [yw] dy enw: am hynny y llangc-
esau a'th garant.
d Dat 14, 4 — 3 [d] Tynn fi [attat, ac] ni a redwn ar dy ol, y
Ioan 14, 2 — brenin a'm dug fi iw stafellau, ni a ymhyfrydwn,
ac a ymlawenhawn ynot, ni a goffawn dy gariad
yn fwy na gwîn, y rhai iniawn ydynt yn dy garu.
e Eph. 2, 10 — 4 [e] Du [ydwyf] fi (merched Ierusalem) a
hawddgar fel pebyll Cedar, [ac] fel llenni Sa-
lomon.
f 1 Thes. 3, 3 — 5 [f] Nac edrychwch arnaf am fy [mod] yn ddu
Act. 20, 30 — [ac] am i'r haul fyng-hanfod: meibion fy-mam
a ddigiasant wrthif, gosodasant fi i gadw gwin-
llannoedd [eraill,] fyng-winllan fy hun ni's
cedwais.
g Sal. 23, 1 — 6 [g] Mynega i mi'r hwn a hoffodd fy enaid pa
le y porthi [dy ddefaid?] pa le y gorweddfeui
[hwynt] hanner dydd? canys pa ham y byddaf
megis yn ymdroi yn mysc diadellau dy gyf-
eillion?
h 1 Pedr 5, 2 — 7 [h] Oni wyddost o honot dy hun y deccaf o'r
Eph. 5, 1 Heb. 13 7 — gwragedd? dos allan rhagot ar hyd ol y praidd,
a phortha dy fynnod ger llaw presswylfeudd y
bugeiliaid.
i Dat. 19, 8 — 8 [i] I'r meirch yng-herbydau Pharao i'th gyff-
Ioan 3, 15 — elybais fyng-hyfeilles.
j 1 Pedr 3 4 — 9 [j] Hawddgar yw dy ruddiau yn y tlyssau,
a'th wddf yn y cadwyni.
k Gen. 1, 26 — 10 [k] Tlyssau o aur, a boglynnau o arian a
2 Cor 12, 3 — wnawn i ti.
l Mat. 8, 11 a 26, 29 — 11 [l] Tra [ydoedd] y brenin ar ei fwrdd, fy
Nardus i a roddodd ei arogl.
m Eph. 3 7 — 12 [m] Fy annwylyd sydd i'm bwysi myrh,
1 Pedr 2, 2 — rhwng fy mronnau'r erys.
n Ioan 1, 7 — 13 [n] Cangen o rawn Camphyr yw fy annwylyd
i mi yng-winllannoedd Engedi.
o Phil. 1, 18 — 14 [o] Wele di yn deg fyng-hyfeilles, wele di yn
Mal. 1, 13 — hyfryd, [y mae i] ti lygaid colomennod.
p 1 Pedr 1 23 — 15 [p] Wele di fy anwylyd yn deg, ac yn hawdd-
Gal. 4, 25 — gar: ein gwely hefyd [sydd] îr.
Col. 1, 6 — 16 Swmmerau ein tai [ydynt] cedr-wŷdd, ein
distiau [ydynt] ffynnid-wŷdd.

## PEN. II.

*Yr eglwys yn dymuno cael aros yng-hyscod Crist. 8 Ac yn hyfryd ganddi ei glywed ai weled. 14 Cyffelybir hi i golomen, ai gelynnion i lwynogod, ai hannwylyd i lwdn hydd.*

RHOSYN [q] y maes, a lili y dyffryn [ydwyf] — q Hos. 14, 5
fi.
2 [r] Megis lili ym mysc y drain: felly [y mae] — r Mat. 10, 16
fyng-hyfeilles ym mysc y merched.
3 [s] Megis afallen ym mysc prennau'r coed, — s 1 Thes. 1, 10
felly [y mae] fy annwylyd ym mhlith y meibion:
chwennychais eistedd o honof dan ei gyscod
ef, canys ei ffrwyth [sydd] felus i'm genau.
4 [t] Efe a'm dug fi i'r gwîn-dŷ, ai faner arnaf — t 1 Ioan 4, 10
[ydoedd] cariad. — Rhuf. 5 5
5 [u] Cynheliwch fi â gwîn, cryfhewch fi âg afal- — u Ioan 5, 40
au, canys claf [ydwyfi] o gariad. — Sal. 42, 1
6 [v] Ei law asswy [sydd] tann fy mhen, ai dde- — v Eph. 5, 29
heu-law sydd yn fyng-hofleidio. — Ioan 3 34
7 [w] Merched Ierusalem tynghedais chwi trwy — w Iago 5, 7
iwrchod a hyddod y maes, na chyffroch, ac na — 1 Pedr 5, 6, 7
ddeffroch fyng-hariad ymma hyd oni fynno hi
ei hun.
8 [x] [Dymma] lais fy annwylyd, Wele ef yn — x Ioan 10, 3
dyfod, yn neidio ar y mynyddoedd, [ac] yn — Luc. 19 12
llammu ar y bryniau. — Act. 3 20 21
9 [y] Tebyg yw fy annwylyd i iwrch neu lwdn — y Ioan 1, 14
hŷdd, wele ef yn sefyll dann ein pared yn ed-
rych trwy'r ffenestri, [ac] yn ymddangos trwy'r
pilerau.
10 [z] Fy annwylyd a attebodd, ac a ddywed- — z Dat 22, 20
odd wrthif, Cyfod ti fyng-hyfeilles, a thyret ti fy
mhrydferth.
11 [a] Canys wele y gaiaf a aeth heibio, y glaw — a Dat. 15, 7
a bassiodd, [ac] aeth ymaith.
12 [b] Gwelwyd y blodau ar y ddaiar, daeth — b Dat. 15, 3
amser pwngc-leisio, clywyd llais y durtur yn
ein gwlad.
13 [c] Y ffigus-bren a fwriodd allan ei ffigus — c 2 Cor. 2, 15
irion, a'r gwin-wŷdd [eu] hegin grawn, [ac] a
roddasant arogl [teg:] cyfot ti fyng-hyfeilles, a
thyret ti fy mhrydferth.
14 [d] Fyng-holomen o holltau y graig, o loches — d Mat. 16 18
y grisiau, gad ti i mi weled dy wyneb, [a] gad
i mi glywed dy lais: canys dy lais [sydd] ber-
aidd, a'th olwg yn hawddgar.
15 [e] Deliwch i ni y llwynogod, [ie]'r llwynog- — e Dat. 19 20
od bychain y rhai á ddifwynant y gwinllan- — Sal. 137, 9

noedd, tra [fyddo] ein gwinllannoedd yn egin
grawn-wîn.
f Gal. 2, 20 16 [f] Fy annwylyd [sydd] eiddo fi, a minne yn
eiddo yntef: yr hwn a ymborth ym mysc y lili.
17 Hyd oni wawrio'r dydd, a chilio o'r cys-
codau: tro, bydd debyg fy annwylyd i iwrch,
neu lwdn hŷdd yn y mynyddoedd Bather.

## PEN. III.

*Yr eglwys mewn awydd i fwynhau Crist, yn myned allan o anialwch y byd hwn iw drigfa nefol ef, yr hon ymma a gyffelybir i neuadd Salomon.*

g Dat. 2, 22 LLIW [g] nos yn fyng-wely y ceisiais'r hwn a
hoffodd fy enaid, ceisiais ef, ac ni's cefais ef.
h Luc 18, 1 Iago 5, 16 Rhuf. 15, 30 2 [h] Codaf yn awr ac af o amgylch i'r ddinas,
trwy'r heolydd a'r strydoedd: ceisiaf yr hwn a
hoffodd fy enaid, ceisiais ef, ac ni's cefais.
i Esa. 56, 10 Mat. 2, 3, 4 3 [i] Y gwil wyr y rhai aent o amgylch i'r ddinas
a'm cawsant: [gofynnais,] A welsoch chwi yr
hwn sydd hoff gan fy enaid?
j Gen. 32, 26 Diar. 4, 13 Eph. 3, 18 Gal. 4, 19 Rhuf. 10, 10 4 [j] Nid aethwn i nepell oddi wrthynt, hyd oni
chefais yr hwn sydd hoff gan fy enaid, deliais ef,
ac ni's gollyngaf, hyd oni ddygwyf ef i dŷ fy
mam, ac i gell yr hon a'm hymddug.
5 Merched Ierusalem tynghedais chwi trwy
iwrchod a hyddod y maes, na chyffroch, ac na
ddeffroch fyng-hariad ymma hyd oni fynno hi
ei hun.
k Dat, 12, 6 6 [k] Pwy [yw] hon sydd yn dyfod i fynu o'r
anialwch, megis colofnau mŵg wedi ei phêr
aroglu â Myrh, ac â Thus [ac â] phob perlysiau
yr apothecari.
l Heb, 1, 14 7 [l] Wele wely Salomon, [y mae] tri ugain o
gedyrn oi amgylch ef, [sef] o gedyrn Israel.
m Mat. 13 25 Eph 6, 12 Neh. 4, 22 8 [m] Hwynt oll a wiscant gleddyf, [ac] a ddysc-
wyd [i] ryfel, pob un ai gleddyf ar ei glun rhag
ofn liw nos.
9 Gwnaeth y brenin Salomon iddo balas o
goed Libanus.
n Dat. 3, 18 10 [n] Ei byst ef a wnaeth efe o arian, ei lawr o
aur, ei lenni o borphor, ei ganol a balmantwyd
â chariad i ferched Ierusalem.
o Dat. 11, 15 Mat. 12, 50 Dat. 21, 2 11 [o] Ewch allan merched Sïon, ac edrychwch
ar y brenin Salomon yn y goron â'r hon y cor-
onodd ei fam ef, yn y dydd y dyweddiwyd ef,
ac yn y dydd y llawenychodd ei galon ef.

## PEN. IV.

*Amryw dlysau rhianaidd yn arwyddoccau aml ddonniau'r eglwys. 6 Crist yn addo chwanegu y donniau hyn, a bod yn gydrychol ei hun: 9 Efe yn dangos ei serch ai awydd iw eglwys. 15 A gweddi'r eglwys.*

p Eph. 1, 18 1 Cor. 11, 5 WELE [p] di yn deg fyng-hyfeilles, wele di
yn deg, dy lygaid [ydynt] golomenaidd,
rhwng dy lywethau, dy wallt [sydd] fel diadell
o eifr, y rhai a ymlyfnhasant ym mynydd
q Ioan 5, 41 Gilead.
Iago 5, 16 1 Cor. 1, 11 2 [q] Dy ddannedd [ydynt] fel diadell [o ddefaid]
gogyfuwch, y rhai a ddaethant i fynu o'r olchfa,
yr rhai [oeddynt] bob un yn dwyn dau oen, ac
nid [oedd un] yn ddi-hepil.
3 [r] Dy wefusau [ydynt] fel edef loiw-goch, a'th r Col. 4, 6
barabl yn weddus: dy arleisiau rhwng dy lyw-
ethau [ydynt] fel darn o Bomgranad.
4 [s] Dy wddf [sydd] fel tŵr Dafydd, yr hwn a s 2 Cor. 10, 4
adailadwyd yn amddeffynfa, tariannau fil sydd
yn crogi ynddo, [a] holl estylch y cedyrn.
5 [t] Dy ddwy fron [ydynt] fel dau lwdn iwrch t 1 Pedr 2, 2
o efell oll yn porri ym mysc lili. Esa. 66, 11
6 [u] Hyd oni wawrio'r dydd, a chilio o'r cys- u 1 Pedr 1, 19
codau âf i fynydd y Myrh, ac i fryn y Thus. Act. 3, 21
7 [v] Ti oll [ydwyt] deg fyng-hyfeilles, ac nid v Dat. 14, 3
oes ynot frychewyn.
8 [w] [Tyret] gyd a'm fi o Lybanus [fy] nywe- w Dat. 21, 2 a 17, 14
ddi, tyret gyd a'm fi o Lybanus, cei edrych o
benn Amana, o goppa Sanir, a Hermon, o
lochesau y llewod, [ac] o fynydd y llewpardiaid.
9 [x] Lladratteaist fyng-halon, fy chwaer a'm x Esa. 62, 5
dyweddi, lladratteaist fyng-halon âg un o'th
lygaid, [ac] âg un gadwyn oddi wrth dy wddf.
10 [y] Morr deg [yw] dy gariad fy chwaer, [a'm] y 1 Ioan 2, 2, 8
dyweddi, pa faint gwell yw dy gariad na gwîn?
ac arogl dy olew, na'r holl bêr aroglau?
11 [z] Dy wefusau [fy] nyweddi ydynt yn diferu z Dat. 14, 8
[fel] dil mêl, [y mae] mêl a llaeth tann dy dafod,
ac arogl dy wiscoedd fel arogl Libanus.
12 [a] Gardd gloedic [yw] fy chwaer a'm dy- a Dat. 21, 27
weddi: ffynnon gloedic, [ïe] ffynnon seliedic Tit. 1, 4 1 Cor. 1,
[yw.] 22
13 [b] Dy blanhigion [ydynt fel] perllan o b Ioan 15, 8
Bomgranadau, a ffrwyth peraidd: Camphir, a
Nardus.
14 [c] [Ië] Nardus, a Saphrwm, Calamus a c 1 Cor. 12, 5, 6
Synamwn a phob prenn Thus, Myrh, ac Aloes, 1 Pedr 4, 10
yng-hyd â phob rhagorol aroglau. Heb. 8,
15 [d] O ffynnon y gerddi, O ffynnon y dyfroedd 15 d Ioan 4,
byw y rhai hefyd a ddiferant allan o Libanus. 10 Dat. 22, 1
16 [e] Cyffroa di ogledd-wynt, a thyret ddeheu- e Rhuf. 6,
wynt, chwyth [ar] fyng-ardd, [fel y] gwascarer 22 Col. 1, 10
ei phêr aroglau: deued fy annwylyd iw ardd, a Esa. 5, 4
bwyttaed ffrwyth ei beraidd-dra ei hun.

## PEN. V.

*Edifeirwch yr eglwys am iddi beri iw chariad Crist ddigio, a chilio oddi wrthi. 10 Godidawgrwydd Crist yr hwn a ddigiase hi.*

DEUTHUM [f] i'm gardd fy chwaer [a'm] f Ioan 15,
dyweddi, cesclais fy Myrh gyd a'm pêr 5 Iago 1, 17
arogl, bwytteais fy nil gyd a'm mêl, yfais fyng- Ioan 15, 14
wîn gyd a'm llaeth: bwytewch gyfeillion, yfwch,
a gwnewch yn llawen [fy] rhai annwyl.
1 [g] Myfi [oeddwn] yn cyscu, a'm calon yn g Dat. 3, 19
deffro [pan glywais] lais fy annwylyd yn curo
[gan ddywedyd,] Fy chwaer, fyng hyfeilles, fyng-
holomen, fy mherffaith [ratau] agor i mi, canys
llanwyd fy mhen â gwlith, a'm gwallt â

defnynnau'r nos.
2 [h] Dioscais fy mhais, pa fodd y gwiscaf hi? (h Luc 11, 7 a 18, 25)
golchais fy nhraed pa fodd yr halogaf hwynt?
3 [i] Fy annwylyd a estynnodd ei law drwy'r (i Luc 11, 9)
twll, a'm calon a gyffrôdd ynof.
4 Mi a gyfodais i agoru i'm annwylyd, yna
fy nwylo a ddiferasant Myrh, a'm bysedd Fyrh
diferol ar hyd hespennau y clo,
5 [k] Agorais i'm annwylyd, yna fy annwylyd, a
droase, ac a aethe heibio, llewygais pan lefar-
odd, ceisiais, ac ni's cefais, gelwais ef, ond ni'm
hattebodd.
6 [l] Y gwil-wyr y rhai a aent o amgylch y
ddinas a'm cawsant, a'm tarawsant, [ac] a'm
harchollasant: gwil-wyr y caerau a ddugasant
fy moled oddi am danaf.
7 Merched Ierusalem gorchymynnais i chwi,
os caech fy annwylyd fynegu iddo ef, mai claf
ydwyfi o gariad.
8 [m] Beth [yw] dy anwylyd rhagor anwylyd
[arall] y deccaf o'r gwragedd? beth [yw] dy an-
wylyd rhagor anwylyd [arall] pan orchymyn-
naist i ni felly?
9 [n] Fy anwylyd [sydd] wynn a gwridoc, yn
rhagori ar ddeng-mil,
10 [o] Ei benn [fel] darn o aur coeth, ei wallt
yn grych-ddu fel brân.
11 Ei lygaid fel colomennod wrth afonydd
dyfroedd, wedi eu golchi â llaeth wedi eu gosod
fel gemmau mewn aur.
12 [p] Ei ruddiau fel gardd-wely arogl-ber, o
flodau pêr arogiau, ei wefusau [fel] lili yn
diferu Myrh diferol:
13 [q] Ei ddwylo [ydynt fel] modrwyau aur,
yn llawn o [feini] Tharsys, ei fol [fel] discleirdeb
Ifori llawn o Saphyr.
14 [r] Ei forddwydydd fel colofnau Marmor
wedi eu sellio ar wadnau o aur coeth, ei bryd
fel Libanus, morr ddewisol a Chedr-wydd.
15 [s] Meluster [yw geiriau] ei enau, ac efe oll
yn †hawddgar, dymma fy anwylyd, dymma
fyng-hyfaill mauti (O ferched Ierusalem.)
16 [t] I ba le'r aeth dy anwylyd ti y deccaf o
wragedd? i ba le y troawdd dy anwylyd ti, ac
ni ai ceisiwn ef gyd â thi?

## PEN. VI.

*Yr eglwys yn credu yng-Hrist, ac yn ymsicrhau oi drugaredd. 3 A Christ oi drugaredd yn ei gweled hithe trwy rym ei waed ef megis yn riain hawddgar.*

FY [u] anwylyd aeth i wared iw ardd, i'r pêr
aroglaidd welau gerddi, i ymborth yn y
gerddi, ac i gasclu lili.
2 Myfi [ydwyf] eiddo fy anwylyd, a'm anwylyd
eiddo finne, 'r hwn a ymbortha ym mysc y lili.
3 Teg [ydwyt] ti fyng-hyfeilles megis Thyrza,
gweddus megis Ierusalem, [ac] ofnadwy megis
rhai baneroc.
4 [v] Troa dy lygaid oddi wrthif, canys hwynt v Dat. 19, 14
a'm gorchfygasant, dy wallt [sydd] fel mintai o 2 Cor. 10, 4
eifr, y rhai a ymlyfnhausant yn Gilead. Eph. 6, 13
5 Dy ddannedd [ydynt] fel mintai o ddefaid y Act. 5, 11
rhai a ddaethant i fynu o'r olchfa: y rhai ydynt Num. 24, 5
bob un yn dwyn dau oen, ac heb [un] yn ddi-
heppil yn eu mysc.
6 Dy arleisiau rhwng dy lywethau [sydd] fel
darn pom-granad.
7 [w] Tri ugain [ydynt] hwy y brenhinesau, a'r w 1 Bren. 11, 3
gordderch wragedd yn bedwar ugain: a'r
llangcesau heb rifedi.
8 [x] Un [ydyw] hi fyng-holomon, fy mherffaith x Eph. 4, 4, 5
[riain,] unic ei mam [yw] hi, cû [yw] hi gan yr 2 Sam. 7, 23
hon ai hescorodd: y merched ai gwelsant, ac a Gal. 4, 16
ddywedasant, Gwyn ei byd: y brenhinesau a'r Eph. 5, 16 1 Pedr 1, 2
gordderch wragedd ai canmolasant.
9 [y] Pwy [yw] hon a welir fel y wawr? yn deg y 2 Pedr 1, 19
fel y lleuad, yn bur fel yr haul, yn ofnadwy Dat. 12, 1
fel y rhai baneroc? Sal. 149, 6, 7, 8
10 [z] Euthum i wared i berllan y cnau, i edrych Ioel 3, 11 Esa. 13, 3
am ir-goed y dyffryn, i weled a flodeuase y z Sal. 92, 12, 13
win-wydden, i edrych a flodeuase y Pom-
granadau.
11 Heb wybod o honof i'm gosododd fy enaid
ar gerbydau fy mhobl foneddigaidd [i ddyw-
edyd.]
12 [a] Dychwel, dychwel y Sulamithes, dych- a Hos. 1, 11
wel, dychwel ac ni a edrychwn arnat: beth a Ex. 38, 1
welwch chwi yn y Sulamithes? megis tyrfa
gwerssylloedd.

## PEN. VII.

*Crist i gadarnhau ffydd ei eglwys sydd ymma yn dangos decced y gwele efe hi. 10 A'r eglwys er ei bod yn mwynhau Crist ymma trwy ffydd sydd yn chwennych bod gartref gyd ag ef, yn rhodio hyfryd fenydd teyrnas nef.*

MORR [b] deg [yw] dy draed mewn escidiau b Eph. 6, 15
ferch pendefig, cymmalau dy forddwyd- Heb. 2, 16
ydd [ydynt] fel tlysau o waith dwylo'r cywraint. Iago 1, 1 Cor. 4, 12
2 [c] Dy fogel [sydd fel] gorflwch crwn heb c 1 Cor. 4, 15
eisieu diod: dy frû fel twrr gwenith wedi ei Gal. 4, 19
gaeu â lili. 1 Thes. 2, 7
3 [d] Dy ddwy fron megis dau lwdn iwrch o d Esa. 66, 11
efellion.
4 [e] Dy wddf fel tŵr o Ifori, dy lygaid [fel] e Rhuf. 6, 6
llynnoedd yn Hesbon wrth borth Bath-rabbim, Esa. 11, 3
dy drwyn fel tŵr Libanus yn edrych tua
Damascus.
5 [f] Dy ben [sydd] arnat fel Carmel, a gwallt f Ioan 1, 25
dy ben fel porphor-wisc brenin wedi ei rhwymo
ym mysc pistyllau dyfroedd.
6 [g] Morr deg ydwyt, ac morr hawddgar fyng- g Esa. 66, 10, 11
hariad mewn hyfrydwch.
7 [h] Dy uchter ymma sydd deby i balm- h Dat. 7, 9
wydden, a'th fronnau i ganghennau grawn. Eph. 4, 13

i 2 Pedr 1 8 8 [i] Dywedais y dringaf i'r balm-wydden, ac
Esa 66 11 ymaflaf yn ei cheingciau, ac yn awr dy fronnau
2 Cor 2 14 fyddant megis grawn-ganghennau y win-wydd-
eu: ac arogl dy ffroenau megis afalau.
j Eph 5 14 9 [j] A thaflod dy enau megis gwîn da, yn myned
Act 2 4 at fy annwylyd yn iniawn, ac yn peri i wefusau
11 18 y rhai a gyscant lefaru.
k Gal 5 29 10 [k] Eiddo fy annwylyd [ydwyf] fi, ac arnafi
Ioan 15 5 [y mae] ei serch ef.
11 Tyret fy annwylyd awn i'r maes, a lletteu-
wn yn y pen-trefydd.
l Ezec 20 12 [l] Boreu-godwn i'r gwinllannoedd, edrych-
40 wn a flodeuodd y win-wydden, a agorodd egin
y grawn-win, a flodeuodd y pomgranadau, yno
y rhoddaf fy serch arnat.
m Mat 13 13 [m] Y mandragorau a roddasant arogledd
52 1 Cor 2 9 wrth ein drysau, [a] phob godidawg ffrwythau
newydd a hen y rhai a guddiais it fy annwylyd.

## PEN. VIII.

*Awydd yr eglwys (yr hon oedd yn amser Salomon o'r Iudd-ewon yn unic) i Grist. 8 Ai gofal am ei chwaer yr hon oedd i'w galw o'r Cenhedloedd. 11 Gofal Crist am ei eglwys, ac am bregethu'r efengyl. 14 Yr eglwys yn hiraethu am ddydd y farn.*

n Mat 12 PWY [n] a'th rydd megis brawd im', yn sug-
50 Heb 2 11 no bronnau fy mam? [pe] i'th gawn allan
Sal 2 12 cussanwn di, ac ni'm dirmygent.
o Esa 60 2 [o] Tywysaf, [ac] arweiniaf di i dŷ fy mam [fel]
11 Gal 4 26 i'm dyscech fi, [ac fel] y parwyf it yfed o wîn
arogl-bêr [ac] o sugn fy mhomgranadau.
p 2 Cor 12 3 [p] Ei law asswy [fydd] tann fy mhen, ai law
9 Pen 2 6 ddehau a'm cofleidia.
4 Tyngedais chwi ferched Ierusalem: na
chyffroech, ac na ddeffroech fyng hariad ymma
hyd oni fynne hi ei hun:

5 [q] Pwy [yw] hon sydd yn dyfod i fynu o'r an- q Dat 12
ialwch [ac] yn bwrw ei phwys ar ei hannwylyd? 6 1 Pedr 5
tann yr afallen i'th gyffröais, yno i'th escorodd 11 Esa 53 11
dy fam, yno i'th escorodd yr hon a'th ym- 13 14
ddûg.
6 [r] Gosot fi megis sêl ar dy galon, [ac] fel sêl r 2 Tim 2
ar dy fraich, canys cariad [sydd] morr gryf ag 19 Esa 49 11
angeu, [ac] eiddigedd morr greulon ag uffern, a 49 15 16
ei farwor [ydynt] farwor tanllyd, [o] fflam yr
Arglwydd.
7 [s] Dyfroedd lawer ni allant ddiffoddi y car- s Rhuf 8
iad, ac afonydd ni's boddant: pe rhodde ŵr holl 39 Mat 7 2
gyfoeth ei dŷ am gariad, gan ddirmygu y dir-
mygid hynny.
8 [t] [Y mae] i ni chwaer fechan, ac nid [oes] t Eph 1 10
fronnau iddi, beth a wnawn i'n chwaer y dydd y Act 11 15
chwedleuir am dani?
9 [u] Os caer [yw] hi, adailadwn arni balas arian, u Dat 21
os porth [yw] hi, caewn am dani ystyllod Cedr- 12 14 19 Eph 2 20
wydd.
10 Caer [ydwyfi] a'm bronnau fel tŷrau, yna'r
oeddwn yn ei olwg ef megis wedi cael † tang-
neddyf.
11 [v] Yr oedd gwin-llan i Salomon yn Baal- v Dat 11
hamon, efe a roddes y winllan at warcheid- Mat 21 33
waid, pob un a ddyge am ei ffrwyth fil o [sicl-
au] arian.
12 [w] Fyng-winllan mau fi [fydd] ger fy mron,
y mil [o siclau a roddir] i ti Salomon, a dau
cant i'r rhai a gadwant ei ffrwyth.
13 O yr hon a drigi yn y gerddi, pregetha fi
i'th gyfeillion, y rhai a wrandawant ar dy lais.
14 [x] Bryssia fy annwylyd a bydd debyg i iwrch
neu lwdn hŷdd ar fynyddoedd y pêr-arogl.

*TERFYN CAN Y CANIADAU.*

---

# LLYFR PROPHWYDOLIAETH
# ESAY.

---

## PENNOD I.

*Anniolchgarwch a chyndynrwydd y bobl. 11 Eu llygredic wasanaeth i Dduw. 14 A dialedd Duw am hyny.*

a 1 Pedr 1 GWELEDIGAETH [a] Esay fab Amos yr
11 2 Pedr 1 hon a welodd efe am Iuda, ac Ierusalem
21 2 Cor 4 18 yn nyddiau Uzzia, Iotham, Ahas, [ac] Hezecia
brenhinoedd Iuda.
b Amos 2 [b] Gwrandewch nefoedd, clyw dithe ddaiar,
3 6 Deut 7 6 canys yr Arglwydd a lefarodd: megais, a meith
rinais feibion, a hwynt a wrthryfelasant i'm her-
byn.

3 [c] Yr ŷch a edwyn ei feddiannudd, a'r assyn
breseb ei bercheunog: [ond] Israel nid edwyn,
fy mhobl ni ddeall.
4 [d] Oh genhedlaeth bechadurus, pobl lwythoc
o anwiredd, hâd y rhai drygionus, meibion llygr-
edic, gwrthodasant yr Arglwydd, dirmygasant
Sanct Israel, [a] chiliasant yn ol.
5 [e] I ba beth i'ch tarewir mwy? cildynrwydd e Ier 31
a chwanegwch: y pen oll [sydd] glwyfus, a'r
holl galon yn llesc.
6 [f] O wadn y troed hyd y pen, nid [oes] ddim

cyfan ynddo [onid] archollion, a chleisiau, a
gweliau crawnllyd: [y rhai] ni wascwyd, ac ni
rwymwyd, ac ni thynerwyd ag olew.
Sal.107, 34 7 [s] Y mae eich gwlad yn anrhaithiedic, eich
2Cron.36 dinasoedd wedi eu llosci â thân, eich tir a di-
eithriaid yn ei yssu yn eich gwydd, ac wedi ei
anrheithio fel pe ymchwele estroniaid ef.
8 A merch Sïon a adewir megis lluestŷ mewn
gwinllan, megis lletŷ mewn gardd cucumerau,
megis dinas † warchaedic.
9 [h] Oni buasse i Arglwydd y lluoedd adel i ni
megis ychydig weddill: fel Sodoma y buasem,
a chyffelyb fuasem i Gomorra.
Rhuf.9 10 [i] Gwrandewch air yr Arglwydd tywysog-
ion Sodoma: clywch gyfraith ein Duw ni pobl
Gomorra.
11 [j] Beth [a fuddia] lluosogrwydd eich aberth-
au i mi medd yr Arglwydd? llawn ydwyf o boeth
aberthau hyrddod, ac o frasder [anifeiliaid breis-
ion: gwaed bustych hefyd, ac wyn, a bychod
Mica 6,7 ni ewyllysiais.
12 Pan ddeloch i ymddangos ger fy mron,
pwy a geisiodd hyn ar eich llaw [sef] sathru fy
llysoedd?
Mat.15, 13 [k] Na chwanegwch ddwyn offrwm yn ofer,
arogl-darth sydd ffiaidd gennif: ni allaf oddef
[eich] newydd-loerau na'r Sabbothau gan gy-
hoeddi cymanfa, ac uchel-ŵyl, [canys] anwir-
edd [ydynt.]
14 [l] Eich lleuadau newydd, a'ch gwylau gosod-
edic a gasaodd fy enaid, y maent yn faich arnaf,
blinais yn eu dwyn.
Diar. 27 15 [m] A phan estynnoch eich dwylo y cuddiaf
fy llygaid rhagoch: hefyd pan weddioch lawer
ni wrandawaf: eich dwylo ydynt lawn o waed.
Ier. 10, 16 [n] Ymolchwch, ymlanhewch, bwriwch ym-
maith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger
bron fy llygaid: peidiwch a gwneuthur drwg
17 [o] Dyscwch wneuthur daioni, ceisiwch farn,
cyfarwyddwch y gorthrymmedic, bernwch [gyd
a'r] ymddifad, dadleuwch [tros] y weddw.
Dat. 1, 18 [p] Deuwch yr awr hon, ac ymresymmwn
medd yr Arglwydd, pe bydde eich pechodau
fel porphor, ânt cyn wynned a'r eira, pe coch-
ent fel scarlat, byddant fel gwlan.
19 Os mynnwch, ac os gwrandewch: daioni y
tir a fwyttewch.
20 [q] Ond os gwrthodwch, ac [os] anufydd-
hewch, â chleddyf i'ch yssir: canys genau yr
Arglwydd ai llefarodd.
Cron. 12 21 [r] Pa wedd yr aeth y ddinas ffyddlawn yn
buttain? cyflawn [fu] o farn, lletteuodd cyfiawn-
der ynddi: ac yr awr hon lleiddiaid [sydd
ynddi.]
Cron. 17 22 [s] Dy arian a aeth yn sothach, dy wîn sydd
gymmysclyd o ddyfroedd.

23 [t] Dy dywysogion [ydynt] gyndyn, ac yn t Hos. 9, 15
gyfrannogion â lladron, pob un yn caru rhodd- Mica 7,3
ion, ac yn dilyn gwobrau: ni farnant yr ymddi- 2 Pedr 2. 15
fad, a chwyn y weddw ni chaiff ddyfod attynt.
24 [u] Am hynny medd Arglwydd Dduw y llu- u Hos.11, 8
oedd [sef] cadarn [Duw]'r Israel: Aha, ymgys- Galar 3, 33
uraf yn erbyn fyng-wrthwyneb-wyr, a dialaf ar
fyng-elynion.
25 [v] Yna y dychwelaf fy llaw arnat, ac a loscaf v Hos 3,5 Rhuf.10, 3
hefyd dy sothach fel pureiddfa: ac a buraf ym-
maith dy holl alcam. Phil. 3,9
26 [w] Cyweiriaf hefyd dy farn-wyr fel cynt, w Dat.21, 27
a'th gynghoriaid megis yn y dechreu: wedi
hynny i'th elwir yn ddinas gyfiawn, ac yn dref
ffyddlon.
27 [x] Sïon a ryddheir mewn barn, a'r rhai a x Dat.8,7 a 19, 11
ddychwelant ynddi mewn cyfiawnder.
28 [y] Destrow y trawsion, a'r pechaduriaid y Dat.22, 15
[fydd] yng-hyd: a gwrthod-wyr yr Arglwydd
a ddarfyddant.
29 [z] Canys cywilyddiant o achos prennau y z Dat. 9, 21
rhai a chwennychasoch: a gwarthruddir chwi
am y gerddi y rhai a ddetholasoch.
30 Canys byddwch fel pren wedi syrthio ei
ddalen, ac fel gardd yr hon nid [oes] ddyfroedd
ynddi.
31 [a] A'r cadarn fydd fel sofl, ai weithudd fel a Dat. 19, 19
gwreichionen: lloscant ill dau yng-hyd, ac ni Mat. 16, 10
[bydd] diffodd udd.

## PEN. II.

*Prophwydoliaeth am frenhiniaeth Crist. 6 Beiau y bobl, a dialedd Duw am danynt.*

Y GAIR yr hwn a welodd Esay mab Amos
am Iuda, ac Ierusalem.
2 [b] Yna y bydd yn y dyddiau diwethaf, fod b Ier. 23, 20
mynydd tŷ'r Arglwydd wedi ei barattoi ym Dat. 14,1
mhen y mynyddoedd, ac yn dderchafedic Dan.2,44 Sal. 11,10
goruwch y brynnau: a'r holl genhedloedd a
ddylifant atto.
3 [c] A phobloedd lawer a ânt, ac a ddywedant, c Zec. 8, 20
Deuwch, ac escynnwn i fynydd yr Arglwydd i Dat.22,5
dŷ Dduw Iacob, ac efe a'n dysc ni yn ei ffyrdd, Luc24.47
a rhodiwn yn ei lwybrau ef: canys y gyfraith a
aiff allan o Sïon, a gair yr Arglwydd o Ierusalem.
4 [d] Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd, ac a d Mat. 28 18
gerydda bobloedd lawer, fel y drylliant eu Ioan16,8, 9
cleddyfau yn geibiau, ai gwaew-ffyn yn bladur- Hos. 2.18
iau: ni chyfyd cenhedlaeth gleddyf yn erbyn Dat. 19, 20 a 20,21
cenhedlaeth, ac ni ddyscant ryfela mwyach Sal. 72, 8
5 [e] Tŷ Iacob deuwch, ac ni a rodiwn yng-oleu- e Eph.5,8
ni yr Arglwydd.
6 [f] Canys gwrthodaist dy bobl [sef] tŷ Iacob, o f Rhuf.11 20
herwydd o'r dwyrain y llawnwyd hwynt [â dryg Ier. 10,8
ioni,] a swyn-wyr [ydynt] megis y Philistiaid: ac
mewn plant dieithriaid yr ymddigonant. g Mica 3, 11
7 [g] Ai tir hwynt oedd gyflawn o arian, ac aur, Sal.62,10

ac nid [oedd] diwedd ar eu tryssorau, ai tir
hwynt oedd lawn o feirch, ac nid [oedd] diwedd
ar eu cerbydau.
hIer.2,28 Dat.9,20 8 h Eu tir hwynt hefyd oedd gyflawn o eulyn-
nod, i waith eu dwylo yr ymgrymmasant [sef]
i'r hyn a wnelse eu bysedd eu hun.
9 Iê ymgrymmodd dyn, ac ymostyngodd gŵr
[ger bron delwau:] am hynny nac arbet tithe
hwynt.
iDat.6,15 Heb. 12, 29 10 i Dos i'r graig, ac ymgudd yn y llwch rhac
ofn yr Arglwydd, a rhac gogoniant ei fawredd ef.
Dat. 18, 10 11 j Uchel-drem dyn a iselir, ac uchter dyn-
jMal. 4.1 Dat.19,18 nion o ostyngir: a'r Arglwydd yn unic a dder-
Sal. 14,8 chefir yn y dydd hwnnw.
kSal. 110 5 a 131, 1 12 k Canys dydd Arglwydd y lluoedd [fydd]
ar bob balch, ac uchel, ac ar bob derchafedic,
fel y gostyngir ef,
13 Ac ar holl uchel, a derchafedic cedr-wydd
Libanus; ac ar holl dderi Basan,
l2Cor.10, 5 14 l Ac ar holl fynyddoedd uchel: ac ar yr
holl frynnau derchafedic,
15 Ac ar bob tŵr uchel: ac ar bob magwyr
gadarn.
mDat.18, 17 16 m Ac ar holl llongau Tharsis: ac ar yr holl
Sal. 49.7 ddelwau prydferth.
Dat. 18, 11 17 n Yna yr iselir uchelder dyn, ac y gostyngir
nDan.7, 14 uchter dynnion: a'r Arglwydd yn unic a dder-
chefir yn y dydd hwnnw.
oZec. 13, 7 18 o A'r eulynnod yn hollawl a dyrr efe
ymmaith.
pLuc 23, 30 19 p Yna'r ânt i dyllau y creigiau, ac i ogofau
Sal.75, 3 llychlyd rhac ofn yr Arglwydd, a rhac gogon-
a 102, 3 Hag. 2,6 21, 22 iant ei fawredd ef: pan gyfodo efe i ddestruwio
y ddaiar.
20 Yn y dydd hwnnw y teifl dyn ei eulynnod
arian, ai eulynnod aur (y rhai a wnaethant
iddynt iw haddoli) i'r wadd, ac i'r stlymmod.
21 Gan fyned i agennau y creigiau, ac i gop-
pâu y clogwyni rhac ofn yr Arglwydd, a rhac
gogoniant ei fawredd ef: pan gyfodo efe i
ddestruwio'r ddaiar.
qSal.146, 3 22 q Peidiwch chwithau a'r dyn yr hwn [sydd]
Ier. 17, 5 ag anadl yn ei ffroenau: canys am ba beth y
Iob 27, 3 perchir ef?

## PEN. III.

*Cospedigaeth ar y wlad. 9 Am ddigywilydd-dra y bobl. 14 Chwant y swyddogion. 16 A balchder y gwragedd.*

rLef. 26, 26 CANYS r wele Arglwydd Dduw y lluoedd
Amos 8, 11 a dynn ymmaith o Ierusalem, ac o Iuda
y cynhaliaeth, a'r cryfder: [sef] holl gynhaliaeth,
bara, a holl gynhaliaeth dwfr.
sHos.7,7 Amos 5 13 2 s Y cadarn, a'r rhyfel-wr, y brawd-wr, a'r
prophwyd, y synhwyrol, a'r hen-wr.
3 Tywysog dec a deugain, a'r anrhydeddus, y
cynghor-wr hefyd, a'r doeth celfydd, a'r araithi-
wr hyawdl.

4 t A rhoddaf langciau yn dywysogion iddynt, tPreg.10, 16
a § bechgyn a arglwyddiaethant arnynt. §Heb. dynion
5 u Felly y bobl a orthrymmir, y naill gan y twyllodrus.
llall, a phob un gan ei gyfaill: y bachgen yn 1Bren.22
erbyn yr hen-wr, a'r gwael yn erbyn yr anrhyd- 22 uMica 3,
eddus a ymfalchiant. 1, 2
6 v Canys gŵr a ymeifl yn ei frawd o dŷ ei dad vIoan 6, 15
[gan ddywedyd] dillad [sydd] gennit, tywysog Barn. 11,
a fyddi di i ni: fel [y gochelom] y cwymp hwn 4, 5
tann dy law di.
7 Yntef a dwng yn y dydd hwnnw gan ddyw-
edyd, Ni byddaf lywodraeth-wr, canys yn fy
nhŷ nid [oes] fwyd, na dillad: na osodwch fi yn
dywysog y bobl.
8 w Canys cwympodd Ierusalem, a syrthiodd wMica 3, 12
Iuda, o herwydd eu tafod hwynt, ai gweithred- Pen 5, 6
oedd [fuant] yn erbyn yr Arglwydd, i gyffroi
llygaid ei ogoniant ef.
9 x Dull eu hwynebau hwynt a destiolaetha xIer. 3, 3
yn eu herbyn, eu pechod hefyd fel Sodoma a Gen. 19, 5
fynegant [ac] ni chelant: gwae eu heneidiau,
canys talasant ddrwg iddynt eu hunain.
10 y Dywedwch mai da [fydd] i'r cyfiawn: yEsec. 9, 4, 5
canys ffrwyth eu gweithredoedd a fwynhant. Gen. 7, 1
11 z Gwae yr anwir drygionus: canys taledig- 2 Pedr 2, 7, 8
aeth ei ddwy-law ei hun a fydd iddo. zPreg. 8, 13
12 a Fy mhobl [sydd] ai treth-wyr yn fechgyn: Sal. 11, 6 Gal. 6, 7, 8
a gwragedd a arglwyddiaethant arnynt: O fy aNah. 3, 13
mhobl y rhai a'th dywysant di [dy] gefeiliorni y Mat. 15,
maent, a ffordd dy lwybrau a guddiasant. 14
13 b Yr Arglwydd sy yn sefyll i ymryson: yr bDat. 6, 16
Arglwydd sy yn sefyll i farnu y bobloedd. Sal. 9, 4
14 c Yr Arglwydd a ddaw mewn barn gyd â cMat. 25, 33
henuriaid ei bobl, ai dywysogion: canys chwi a Dat. 4, 9
borasoch fyng-winllan, anrhaith y tlawd [sydd]
yn eich tai chwi.
15 d Beth [sydd] i chwi a guroch ar fy mhobl? dMica 3, 2, 3
ac a friwoch ar wynebau y tlodion? medd Ar-
glwydd Dduw y lluoedd,
16 e A'r Arglwydd a ddywedodd, O herwydd e1 Pedr 3, 14
balchio o ferched Sion, a rhodio â gwddf estyn- Can. 5, 11
nedic, ac yn amneidio ai llygaid: gan rodio a Mat. 11, 6
rhygyngu y cerddent, ac y trystient ai traed,
17 f Am hynny y clafria yr Arglwydd goryn- fDeut. 28, 27
nau merched Sion: yr Arglwydd hefyd a Dat. 16, 2
ddinoetha eu gwarthle hwynt. Nah. 3, 5 Dat. 17, 16
18 g Yn y dydd hwnnw y tynn yr Arglwydd Ier. 13, 22
ymmaith addurn yr escidiau, y rhwyd-waith gBarn. 8, 21
hefyd, a'r lloerawc wiscoedd,
19 Y pêr-arogl, a'r breichledau, a'r moledau.
20 Y pen-guwch a'r llawdrau, a'r snodennau,
a'r ddwyfronegau, a'r clust-dlysau,
21 h Y modrwyau, ac addurn-wisc y trwyn, hGen. 24, 22
22 i Y gwiscoedd symmud-liw, ai hefysau: y iBarn. 11
misyrnau hefyd, a'r pyrsau. 18
23 Y drychau hefyd, ar lliain main-wych y

coccwllau hefyd a'r gynau,
24 [j] A bydd yn lle per-arogl ddrewi, bydd
jDiar. 23, 21 hefyd yn lle gwregys rwygiad, ac yn lle iawn
Mica1,16 Galar. 1, drefniad [gwallt] foelni, ac yn lle dwyfronec
4 Ier. 14, 4 gwregys o sach-liain: [a] lloscfa yn lle pryd-
Luc 19,14 ferthwch.
25 Dy ddynnion a syrthiant drwy'r cleddyf:
a'th gadernid drwy ryfel.
26 Felly ei phyrth hi a ofidiant, ac a alarant:
ac yn wag yr eistedd hi ar y ddaiar.

## PEN. IV.

*Anamled dyn wedi difetha Ierusalem. 2 A daioni Duw i'r gweddill.*

k 1Thes. 3, 13 Luc 1,25 AC [k] yn y dydd hwnnw saith o wragedd a
ymaflant mewn un gŵr gan ddywedyd,
Ein bara ein hun a fwyttawn, a'n ddillad ein
hun a wiscwn, yn unic galwer dy enw di arnom
ni: cymmer ymmaith ein gwarth ni.
2 [l] Y pryd hynny y bydd blaguryn yr Ar-
lIer.23,5 Eph 5,26 glwydd yn brydferthwch, ac yn ogoniant: a
2Pedr1,4 ffrwyth y ddaiar yn rhagoriaeth, ac yn de-
gwch i'r rhai a ddiangasant o Israel.
3 Yna y bydd [am] yr hwn a adewir yn Sïon,
ac a weddillir yn Ierusalem, y dywedir wrtho,
O sanct: [sef] pawb a'r a scrifennwyd ym
mhlith y rhai byw yn Ierusalem.
m 1Pedr 4, 17 4 [m] Pan olcho 'r Arglwydd frynti merched
Sïon, a charthu gwaed Ierusalem oi chanol
mewn yspryd barn, ac mewn yspryd gwres,
nZec. 2,5 5 [n] Yna 'r Arglwydd a grea ar bob trigfa o
fynydd Sïon, ac ar ei gymanfaoedd gwmwl y
dydd, mwg hefyd, a llewyrch tân fflamllyd y
nos: canys ar bob gogoniant [y bydd] amddeffyn.
oSal.84,3 Deut.33, 6 [o] A phabell fydd yn gyscod y dydd rhac
27 Heb.6,18 gwres, yn ddiogelwch hefyd, ac yn ymguddfa
Mat.7,25 rhac temestl, a rhag glaw.

## PEN. V.

*Dammeg y winllan yn dangos daioni Duw iw bobl. 7 Eu drygioni hwythau. 13 A chospedigaeth Duw am hynny.*

pIoan 3, 29 CANAF [p] yr awr hon i'm hanwylyd ganiad
Ier. 2, 21 fy annwylyd am ei winllan: gwinllan sydd
i'm hannwylyd mewn bryn tra ffrwythlon.
qMat.21, 33 2 [q] Ac efe ai cloddiodd hi, ac ai digarregodd,
Deut.32, ac ai plannodd o'r win-wydden oref, ac a adeil-
adodd dŵr yn ei chanol, a thrychodd hefyd win-
wryf ynddi: yna y disgwiliodd [wrthi] ddwyn
grawn-win, ond hi a ddug rawn gwylltion.
r2Sam.12 3 [r] Ac yr awr hon preswylwyr Ierusalem, a
Mica 6,3 gwyr Juda, bernwch attolwg rhyngofi a'm
gwinllan.
s2 Cron. 36, 15, 16 4 [s] Beth [oedd] i'w wneuthur ychwaneg i'm
Mat. 23, gwinllan nag a wnaethum ynddi: pa ham a mi
37 Act. 7, yn disgwil iddi ddwyn grawn-win y dug hi
rawn gwylltion:
tAmos 3, 5 [t] Ac yr awr hon yr hyspysaf i chwi yr hyn
Deut.32, yr ydwyfi ar ei wneuthur i'm gwinllan; tynnaf

ymaith ei chae fel y porer hi, gan dryllio ei
chlawdd fel y byddo hi yn sathrfa.
6 [u] A mi ai gosodaf hi yn ddifrod, ni yscyth- u Deut.
rir hi, ac ni chwynnir hi, ond mieri a drain a 28, 49, 38 Hos. 4,14
gyfyd: ac i'r cwmylau y gorchymynnaf na
lawiont law arni.
7 [v] Diau gwinllan Arglwydd y lluoedd [yw] vLuc 18,
tŷ Israel, a gwyr Iuda [yw] ei blanhigyn hy- 7
fryd ef: ac efe a ddisgwiliodd am farn, ac wele
bla, am gyfiawnder, ac wele lef.
8 [w] Gwae y rhai sy yn cyssylltu tŷ at dŷ, ac yn wMica 2
cyplysu maes wrth faes: hyd oni byddo eisieu 2 Hab 2,12
lle, ac y trigoch chwi yn unic yng-hanol y tir. Ezec. 11, 15
9 [x] Lle y clywais [y dywedodd] Arglwydd y xAmos 5
lluoedd, nid [byw fi] oni bydd tai lawer, mawr- 13 a 6, 9
ion a theg yn anrhaith heb drigiannudd.
10 Canys dec cyfer o winllan a ddygant un
Bath, a lle Gomer a ddwg Epha.
11 [y] Gwae y rhai a gyfodant yn foreu [ac] a y 1Thes.
ddilynant ddiod gadarn, ac a arhosant hyd yr 5,7 Preg. 10,
hwyr [hyd oni] enynno y gwin hwynt. 16,17
12 [z] Ac yn eu gwleddoedd hwynt, y mae y zAmos 6
delyn, a'r nabel, y tympan, y bibell hefyd, a'r 6 Sal. 28, 5
gwin: ond am waith yr Arglwydd nid edrych- 2Bren.17
ant, a gweithred ei ddwy-law ef ni welant. 6 Hos. 4,11
13 [a] Am hynny y caeth-gludwyd fy mhobl aDat.18,
mau fi o eisie gwybodaeth, ai gogoniant [ydyw] 2 Luc19.44
dynnion newynog, ai gwerys a wywodd gan Ier. 8, 7
syched.
14 Herwydd hynny 'r ymehangodd uffern ei
hun, ac yr agorodd ei safn yn anferth, fel y
discynne [yno] eu gogoniant, ai gwerys, ai
rhwysc a'r hwn a lawenycho ynddi.
15 [b] Felly y crymmir dyn, ac y darostyngir
gwr: a llygaid y rhai uchel a iselir. bGalar.2 10
16 [c] Ac Arglwydd y lluoedd a dderchefir Deut.28, 63
mewn barn: a'r Duw sanctaidd a sancteddiwyd cSal. 9.16
mewn cyfiawnder. Dat.19,1, 2, 3
17 [d] Yr ŵyn hefyd a borant yn ol eu harfer: a dIoan21,
dieithriaid a fwyttant ddiffeithfaoedd y breis- 15
ion. 2 Pedr 2 11
18 [e] Gwae y rhai a dynnant anwiredd â rhe- eSal.36,4
ffynau oferedd: a phechod megis â rhaffau Mica 2,1
menn: Ier. 9, 4
19 [f] Y rhai a ddywedant, Brysied, a chyflym- fSal. 14,1
med ei orchwyl fel y gwelom: nesaed hefyd, a Ezec. 12, 13
deued cyngor Sanct yr Israel fel y gwypom. Ier. 17,15
20 [g] Gwae y rhai a ddywedant am y drwg gAmos5,
Da [yw,] ac am y da Drwg [yw:] gan osod ty- 10
wyllwch am oleuni, a goleuni am dywyllwch,
y rhai a osodant chwerw am felys, a melys am
chwerw.
21 [h] Gwae y rhai ydynt ddoethion yn eu gol- hRhuf.1,
wg eu hun; a'r rhai deallgar yn eu bryd eu hun. 22
22 [i] Gwae y rhai cryfion i yfed gwin, a'r dyn- i Hab. 2,
nion nerthol i gymmyscu diod gadarn. 15

j Ioan 18, 40 23 [j] Y rhai a gyfiawnhant yr anwir er gobr:
ac a gymmerant ymmaith gyfiawnder y rhai
cyfiawn oddi ganddynt.
k Hos. 9, 16 24 [k] Am hynny megis ac yr yssa y ffagl dân y
sofl, ac y difa y fflam y mân-us: [felly] y bydd
eu gwreiddyn hwynt yn bydredd, ai blaguryn a
gyfyd i fynu fel llwch; canys dirmygasant gyf
raith Arglwydd y lluoedd, a diystyrasant ym-
adrodd Sanct yr Israel.
l 2 Bren. 13, 3 25 [l] Am hynny 'r enynnodd llid yr Arglwydd
Lef. 26, 14 yn erbyn ei bobl, ac yr estynnodd efe ei law
Heb. 10, 31 arnynt, ac ai tarrawodd hwynt, fel y dychryn-
odd y mynyddoedd, a bu eu celanedd hwynt yn
rhwygedig yng-hanol yr heolydd: er hyn oll
ni ddychwelodd ei lid ef, ond etto [y mae] ei
law ef yn estynedic.
m Mal. 1, 11 26 [m] Ac efe a gyfŷd faner i'r cenhedloedd o
Sal. 72, 8 bell, ac a chwibiana arnynt hwy o eithaf y
Deut. 28, 49 ddaiar: ac wele ar frys yn fuan y deuant.
Ier. 5, 15
n Ioel 2, 7, 8 27 [n] Ni [bydd un] blin, na thramgwyddedic
yn eu plith, ni huna, ac ni chwsg, ac ni ddat-
odir gwregys ei lwynau: ac ni ddryllir care ei
escidiau.
o Ier. 5, 16 28 [o] Yr hwn [fydd] ai saethau yn llymmion, ai
holl fwâu yn anneloc: carnau ei feirch ef ydynt
fel callestr, ai olwynion ef fel corwynt.
p Galar. 2, 7 29 [p] Ei ruad [fydd] fel llew, efe a rua fel cen-
Deut. 28, 49 awon llew, efe a chwyrna hefyd, ac a ymeifl yn
yr ysclyfaeth, efe a ddiangc hefyd, ac ni [bydd]
achubudd.
q Sal. 93, 3 30 [q] Ac efe a rua arnynt y dydd hwnnw, fel
Deut. 32, 2 rhuad y môr: yna yr edrychir tua'r ddaiar, ac
a 33, 28
Sal. 72, 6 wele dywyllwch, [a] chyfyngder, a'r goleuni a
Diar. 25, 22 dywyllir yn ei nefoedd.

## PEN. VI.

*Esay yn dangos ei alwedigaeth, 9 Cyndynrwydd y bobl, 11 Dinistr y wlad. 13 Am y gweddill a ddiango.*

r 2 Bren. 16, 2 YN [r] y flwyddyn y bu farw y brenin Uziah
2 Bren. 22, 19 y gwelais hefyd yr Arglwydd yn eistedd
ar eisteddfa uchel, dderchafedic: ai odrau ef yn
llenwi y Deml.
s Sal. 104, 4 2 [s] Y Seraphiaid oeddynt yn sefyll oddi ar
1 Bren. 19, 13 hynny: chwech aden ydoedd i bob un: â dwy
y töe ei wyneb, ac â dwy y töe ei draed, ac â
dwy yr eheda.
t Dat. 4, 8 3 [t] A llefodd y naill wrth y llall, ac a ddyw-
Sal. 72, 19 edodd, Sanct, Sanct, Sanct Arglwydd y llu-
oedd, yr holl ddaiar sydd lawn oi ogoniant ef.
u Dat. 15, 8 4 [u] A physt y rhiniogau a symmudasant gan
y llef yn llefain: a'r tŷ a lawnwyd gan fŵg.
v Hab. 3, 16 5 [v] Yna y dywedais, Gwae fi, canys darfu am
Iago 5, 2 danaf, o herwydd gŵr halogedic [ei] wefusau
[ydwyfi,] ac ym mysc pobl halogedic o wefusau
yr ydwyf yn trigo: canys fy llygaid a welsant
w Sal. 103, 20 y brenin [sef] Arglwydd y lluoedd.
Heb. 13, 10 6 [x] Yna yr ehedodd attaf un o'r Seraphiaid,
ac yn ei law farworyn yr hwn a gymmerase efe
oddi ar yr allor mewn gefail.
7 Ac efe a gyffyrddodd a'm genau, ac a ddyw-
edodd, Wele cyffyrddodd hwn a'th wefusau, fel
yr ymadawo dy anwiredd, ac y glanhauir dy
bechod.
8 [x] Clywais hefyd lef yr Arglwydd yn dyw- x Ioan 12, 41
edyd, Pwy a anfonaf? a phwy a aiff trosom ni? Gen. 1, 26
yna y dywedais, (Wele fi) anfon fi. Ex. 3, 11
9 [y] Ac efe a ddywedodd, Dos, a dywet wrth y y Mat. 13, 19
bobl hyn: gan glywed y clywch, ond ni ddeall- Mat. 4, 12
wch, a chan weled y gwelwch, ond nis gwy-
byddwch.
10 [z] Brassha galon y bobl hyn, a thrymha eu z 2 Cor. 3, 16
clustiau, a chaea di eu llygaid: rhag iddynt Deut. 29,
weled ai llygaid, a chlywed ai clustiau, a deall 2
ai calon, a dychwelyd, ai meddiginiaethu.
11 [a] A dywedais, hyd pa hyd Arglwydd? ac a 2 Bren.
efe a attebodd, Hyd oni anrheithir y dinasoedd 24, 9 Mica 3, 12
heb drigiannudd, a'r tai heb ddyn, a gwneuthur
y wlad yn ddiffaethwch.
12 [b] A'r Arglwydd a bellha ddynion, a [bydd] b 2 Cron. 36, 17
dinistr mawr yng-hanol y wlad. Dat. 18, 8
13 [c] Ac etto [bydd] ynddi ddegymmiad, a hi a c 1 Bren.
ddychwel, yna y bydd yn ddifrod: yr hâd 25, 21 Rhuf. 11,
sanctaidd [yw] ei hattaliaeth hi, fel y llwyfen 5 Mal. 2, 15
a'r dderwen y rhai wrth fwriad eu [dail y bydd]
sylwedd ynddynt.

## PEN. VII.

*Am ryfel y Syriaid yn erbyn Ierusalem. 14 Ac am fab y forwyn.*

AC [d] yn nyddiau Ahaz fab Iotham, fab Uzia d 2 Bren.
frenin Iuda, y daeth Rezin brenin Syria, 16, 5 Sal. 83, 3
a Phecah mab Remaliah brenin Israel i fynu 4 Sal. 125, 2
[yn erbyn] Ierusalem i ryfela arni: ond ni allodd
efe ymladd iw herbyn.
2 [e] A mynegwyd i dŷ Ddafydd gan ddywedyd, e Mat. 1, 5
Syria a gydtunodd ag Ephraim: am hynny ei
galon ef a gyffrodd, a chalon ei bobl, megis y
cyffru prennau y coed o flaen y gwynt.
3 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrth Esay,
Dos allan yr awr hon i gyfarfod ag Ahaz ti a
‖Sear Iasub dy fab, wrth ymyl aber y llynn ‖ Sef y gweddill
uchaf, ar lwybr maes y pann-wr. a ddychwel Pen. 10, 21
4 [f] A dywet wrtho ef, Ymgadw a bydd lonydd,
nac ofna, ac na feddalhaed dy galon rhag dwy f 2 Cron. 28, 16
gloren y pentewynnion myglyd hyn: [sef] rhag 2 Bren. 15, 25
enynniad llid Rezin, a Syria, a mab Remaliah,
5 [g] Canys Syria a ymgynghorodd gyngor drwg g Sal. 2, 1 a 83, 3
yn dy erbyn: [felly] Ephraim, a mab Remaliah
gan ddywedyd,
6 [h] Escynnwn yn erbyn Iuda, a blinwn hi, h Diar. 1, 10
torrwn hi hefyd attom, ac urddwn fab Tabel yn
frenin ynddi.
7 [i] Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, ni i Diar. 21, 30
saif, ac ni bydd [hyn.]

j 2Bren. 16, 10 8 j Canys pen Syria [yw] Damascus, a phen
Esra 4, 2 Damascus Rezin: ac o fewn pum mhlynedd a
Pen 14, 15 thri ugain y difeir Ephraim o [fod] yn bobl.
k 2Bren. 16, 5 9 k Hefyd pen Ephraim [yw] Samaria, a phen
2Cron. 28, 20 Samaria [yw] mab Remalia: oni chredwch,
diau na'ch siccrheuir chwi.
10 A'r Arglwydd a chwanegodd lefaru wrth
Ahaz gan ddywedyd,
l Barn. 6, 36 11 l Gofyn it arwydd gan yr Arglwydd dy
Mat. 5, 45 Dduw: cais o'r dyfnder, neu o'r uchelder oddi
arnodd.
m Mat. 12, 39 12 m Yna y dywedodd Ahaz, Ni ofynaf, ac ni
themptiaf yr Arglwydd.
n Amos. 8, 13 13 n A dywedodd yntef, Gwrandewch yn awr
tŷ Ddafydd, Ai bychan genych flino dynion?
oni flinoch hefyd fy Nuw?
o Mat. 1, 23 14 o Am hynny yr Arglwydd ei hun a ddyry i
chwi arwydd: wele y forwyn a fydd feichiog,
§ Sef, Duw gyd â ni ac y bi a escor ar fab, a thi a elwi ei enw ef,
Ioan 1, 14 § Immanu-El.
p Heb. 4, 15 15 p Ymenyn a mêl a fwyttu efe, hyd oni fedro
1Cor. 13, 11 efe ymwrthod a'r drwg, ac ethol y da.
Luc 2, 52 16 q Canys cyn medru o'r bachgen ymwrthod
q 2Bren. 15, 3 a'r drwg, ac ethol y da, y gwrthodir y wlad yr
hon a ffieiddiaist heb ei dau frenin.
r 2Cron. 28, 19 17 r Yr Arglwydd a ddwg arnat ti, ac ar dy
bobl, ac ar dŷ dy dadau ddyddiau y rhai ni
ddaethant er y dydd yr ymadawodd Ephraim
oddiwrth Iuda, sef brenin Assyria.
Ier. 50, 6 18 s A bydd yn y dydd hwnnw i'r Arglwydd
Bren. 19 chwibianu ar y gwybedyn yr hwn [sydd] yn ei-
thaf afonydd yr Aipht, ac ar y wenynen yr hon
[sydd] yn nhir Assyria.
19 A hwynt oll a ddeuant, ac a orphywysant
yn nyffrynoedd y diffaethwch, ac ynghrounlech-
ydd y creigiau: hefyd yn yr yspydded oll, ac
yn y perthi oll.
Bren. 16 20 t Yn y dydd hwnnw yr eillia'r Arglwydd
es. 40, (â'r ellin yr hwn a gyflogir o'r tu hwnt i'r afon
[sef] â brenin Assyria) y pen, a blew'r traed,
a'r farf hefyd a ddifa efe.
Ier. 39, 21 u A bydd yn y dydd hwnnw i ŵr fagu an-
neir-fuwch, a dwy ddafad.
2Bren. 22 v Bydd hefyd o amlder y llaeth a roddant,
, 18 iddo fwytta ymenyn, a mêl a fwyttu y sawl a
adewir o fewn y tir.
23 A bydd y dydd hwnnw, fod pob lle yr hwn
y mae ynddo fil o win-wydd [yn talu] mil o
arian [bathol] yn ddrain, ac yn fieri.
Ex. 23, 24 w A saethau, ac â bwâu y daw yno: canys
f. 26, yn ddrain, ac yn fieri y bydd yr holl wlad.
Neu, ddaw yno ofn. 25 Eithr yr holl fynyddoedd y rhai a geibir â
chebibaut † ni ddaw yno ofn drain na mieri: ond
bydd yn hebryngfa gwarthec, ac yn sathrfa defaid.

PEN. VII Adn. 15.] "Ymenyn a mêl a fwytty," &c. h. y. Nasaread fydd. Cofiwn y cwestiwn, "Beth fydd y bachgenyn hwn?" Pa ddyrchafiad a ddaw i mi?
RHIF. XIV.

## PEN. VIII.

*Yr Assyriaid yn caethiwo Israel ac Iuda. 9 Dinistr yr Assyriaid. 15 Y maen tramgwydd. 19 Am ddewiniaeth.*

A'R x Arglwydd a ddywedodd wrthif, Cym- x 2Bren. 16, 9
mer it ddalen fawr, ac scrifenna arni â
phin dyn: *Bryssiwch i'r yspail, pryssurwch i'r
anrhaith.*
2 y Yna y gelwais yn dyst i mi dystion ffydd- y 2Cor. 13, 1
lon, sef Uria yr offeiriad, a Zecariah fab Ba- 1Bren. 16, 11
rachiah. 2Tim. 4, 16
3 z Yna y nesseais at y brophwydes, ac hi a z Lef. 18, 6
feichiogodd, ac a escorodd ar fab: a dywedodd
yr Arglwydd wrthif, Galw ei enw ef *Bryssiwch
i'r yspail, pryssurwch i'r anrhaith.*
4 a Canys cyn y medro'r bachgen alw Fy a 2Bren. 15, 29
nhad, neu Fy mam, golud Damascus, ac yspail
Samaria a ddygir o flaen brenin Assyria.
5 A chwanegodd yr Arglwydd lefaru wrthif
ychwaneg gan ddywedyd,
6 b O herwydd i'r bobl hyn wrthod dyfroedd b Ioan 9, 7
Siloh y rhai ynt yn myned yn ddistaw, [a chym-
meryd] llawenydd o Rezin, a mab Remaliah:
7 c Am hynny wele'r Arglwydd yn dwyn ar- c Deut. 28, 49
nynt ddyfroedd yr afon yn gryfion, ac yn fawr-
ion [sef] brenin Assyria, ai holl gadernid ef, ac
efe a escyn ar ei holl afonydd, ac ar ei holl geu-
lannau ef.
8 d Ië trwy Iuda y treiddia efe, y llifa, ac yr d 2Bren. 18, 17
aiff trwodd, efe a aiff hyd y gwddf: ac estyn- a 30, 28
niad ei adenydd ef fydd lloned lled dy dir di O
Immanu-El.
9 e Ymrwygwch bobloedd, ac ymddrylliwch, e Dat. 16, 13 a 19, 17
gwrandewch holl belledigion y tir: Ymwregys- Ioel 3, 9, 12
wch, ac ymddrylliwch, ymwregyswch, ac ym- Sal. 2, 9
ddrylliwch.
10 f Ymgynghorwch gyngor, ac fe a ddiddym- f Iob 5, 12
mir, treuthwch chwedl, ac ni saif: canys Duw Rhuf. 1, 31
[sydd] gyd â ni. Act. 5, 38
11 g Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd g Ier. 10, 23
wrthif mewn prophwydoliaeth gref: ac efe a'm Gen. 7, 1
dyscodd rhac myned i ffordd y bobl hyn, gan
ddywedyd:
12 h Na ddywedwch [Gwnawn] gyngrair â'r h 2Bren. 16, 7
rhai oll y dywedo y bobl hyn [Gwnawn] gyngr- 1 Pedr 3, 14
air: nac ofnwch chwaith fel hwynt, ac nac ar-
swydwch.
13 [Ond] Arglwydd y lluoedd a sancteidd-
iwch, ac efe [fydd] eich ofn, efe hefyd [fydd]
eich arswyd.
14 Ac efe a fydd yn noddfa, ac yn faen tram-
gwydd, ac yn graig syrthiad i ddau dŷ Israel,
yn fagl, ac yn rhwyd i bresswylwyr Ierusalem. i Rhuf. 11, 25
15 i A llawer wrth y rhai hyn a dramgwydd- Mat. 21, 44
ant, ac a syrthiant, ac a ddryllir, a rwydir he- j Ioan 6, 46
fyd, ac a ddelir. Dan. 12, 4
16 j Rhwym y destiolaeth, selia y gyfraith Act. 11, 26

gyd â'm discybliou.
17 A minnef a ddisgwiliaf am yr Arglwydd
sydd yn cuddio ei wyneb oddi wrth dŷ Iacob,
ac a wiliaf wrtho.
k Heb. 2, 13 18 k Wele fi a'r plant y rhai a roddes yr Ar-
Ioan 17,6 glwydd i mi yn arwyddion, ac yn rhyfeddodau
1 Cor. 4, 15 yn Israel, oddi wrth Arglwydd y lluoedd yr
hwn sydd yn trigo ym mynydd Sïon.
l 2 Pedr 2, 1 19 l A phan ddywedant wrthych, Ymofyn-
1 Sam. 28, 8 nwch â'r swynyddion, ac â'r dewiniaid y rhai
sy yn husting, ac yn sibrwd: [dywedwch,] Onid
âi Duw'r ymofyn pobl [heb fyned] oddi wrth y
byw, at y meirw?
m Luc 16, 29 20 m [Ewch] at y gyfraith, ac at y destiolaeth:
Gal. 1, 8 onid y rhai nid [oes] oleuni ynddynt a ddywed-
ant yn ol y gair hwn?
n 2 Bren. 25, 6 21 n Yna y gorthrymmedic, a'r newynoc a dra-
Dat. 16, 10 mwya ynddi: a bydd pan newyno efe yr ym-
Seph. 1, 5 ddigia, ac y melldiga ei frenin, ai Dduw, os
tremmia i fynu,
o 2 Cron. 15, 5 22 o Neu edrych ar y ddaiar, wele yna drallod,
a thywyllwch, niwl, cyfyngder: a bydd wedi ei
wthio mewn tywyllni.
23 Etto ni [bydd] tywyllwch yn ol ei gofid
megis yn yr amser cyntaf y cyffyrddodd yn ys-
cafn dir Zabulon, a thir Nephthali, ac wedi
hynny yn ddwysach y cyffyrddodd [wrth]
ffordd y môr tu hwynt i'r Iorddonen yn Galilee
y cenhedloedd.

## PEN IX.

*Etholedigaeth y cenhedloedd. 6 Ganedigaeth Crist ai lywodraeth. 14 Cosp ei ddirmyg-wyr ef.*

p 2 Bren. 15, 29 Y p BOBL a rodiasant mewn tywyllwch, a
2 Bren. 17, 5 welsant oleuni mawr: y rhai oeddynt
Lef. 26, 24 yn aros yn nhir cyscod angeu y llewyrchodd
goleuni arnynt.
q Mat. 4, 16 2 q Amlheaist y genhedlaeth, ni fawrheaist la-
Eph. 5, 14 wenydd, llawenychasant ger dy fron, megis y
llawenydd yr hwn fydd amser cynhaiaf, [ac]
megis y llawenychant wrth rannu yspail.
r Ezec. 37, 21 3 r Canys iau ei faich ef, a ffon ei yscwydd ef
Luc 11, 22 gwialen ei orthrymder ef a ddrylliaist megis yn
nydd Madian.
4 Diau pob rhyfel-wr a ryfela mewn trwst, a
dillad wedi trybaeddu mewn gwaed: ond bydd
efe [a] ryfelo drwy losciad [ac] yssiad tân.
s Dat. 16, 6 5 s Canys bachgen a aned i ni, mab a roddwyd
2 Thes. 2, 21 i ni, a bydd llywodraeth ar ei yscwydd ef: a
gelwir ei enw ef *Rhyfeddol, Cynghor-wr, Duw
cadarn, Tad tragywyddoldeb, Tywysog tang-
neddyf.*
t Mat. 1, 21 6 t Ar amlder ei lywodraeth, a thangneddyf
Luc 1, 10 ni [bydd] diwedd: efe a [eistedd] ar orseddfa
Mat. 28, 18 Dafydd, ac ar ei frenhiniaeth ef iw threfnu hi,
Tit. 2, 13 ac iw chadarnhau mewn barn, ac mewn cyfiawn
der, o'r pryd hyn, ac hyd byth: zêl Arglwydd

y lluoedd a wna hyn.
7 u Yr Arglwydd a anfonodd air i Iacob: ac u Dan. 4, 44
a syrthiodd ar Israel.
8 Holl bobl Ephraim hefyd, a thrigiannudd
Samaria a fedrant ddywedyd mewn balchder,
ac mewn mawredd calon,
9 Y priddfeini a syrthiasant, ond â cherric
nadd yr adailadwn: y Sycomor-wydd a dor-
rwyd, ond ni ai cyweiriwn â chedr-wydd.
10 v Er hynny'r Arglwydd a dderchafa wrth- v 2 Bren. 15, 29
wyneb-wyr Rezin yn ei erbyn, ac a gymmysc Sal. 18
ei elynnion. Dat.
11 Y Syriaid [fydd] o'r blaen, y Philistiaid
hefyd o'r ol, fel yr yssant Israel yn safnrhwth:
er hyn ei gyd ni ddychwelodd ei lid ef, onid etto
[y mae] ei law ef yn estynnedic.
12 w A'r bobl ni ddychwelasant at yr hwn ai w Ier. 5, 3
tarawodd: ac ni cheisiasant Arglwydd y llu-
oedd.
13 x Am hynny y torrodd yr Arglwydd o x Hos. 7,
Israel y pen a'r gynffon, y gangen a'r gorsen yn 7
yr un dydd.
14 y Yr hen-wr a'r anrhydeddus yw'r pen: y y Dat. 8,
prophwyd yr hwn sydd yn dyscu celwydd yw'r Dat.
gynffon.
15 z Canys cyfarwydd-wyr y bobl hyn ydynt z 2 Pedr 2,
yn cyfeiliorni: a llyngcwyd y rhai a gyfar- 1 Mal. 2,
wyddasant. 9
16 a Am hynny ni lawenha'r Arglwydd wrth a Galar. 2
ei wŷr ieuaingc ef, ac wrth ei ymddifaid ef ai 14
weddwon ni thosturia: canys bob un o honynt
[sydd] ragrith-wr, a drygionus, a phob genau
yn traethu ynfydrwydd: er hyn oll ni ddych-
weloedd ei lid ef, onid etto [y mae] ei law ef yn
estynnedic.
17 b O herwydd anwiredd a lysc fel tân, drain, b Mal. 4,
a mieri a yssa efe: ac a gynne yn nrysni y coed: 1
ac hwynt a dderchafant[fel]ymdderchafiad mŵg. Mica 7, 2,
18 Gan ddigofaint Arglwydd y lluoedd y 6
tywylla'r ddaiar, a bydd y bobl fel ymborth tân: Iob 8,
nid eiriach neb ei gilydd.
19 c Ond efe a rwyga ar y llaw ddehau, ac a c Gal. 5,
newyna, bwyttu hefyd ar y llaw asswy, ond ni's Mica 7, 2
digonir: pawb a fwyttu ei fraich ei hun. Ier. Rhuf.
20 d Manasses [a fwyttu] Ephraim, ac Eph- d Lef. 26,
raim Manasses, hwythau yng hyd yn erbyn 26
Iuda: er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, oud Galar.
etto [y mae] ei law ef yn estynnedic. Ier.

## PEN. X.

*Trawster swyddogion Israel. 5 Duw yn eu cospi hwynt trwy 'r Assyriaid: y rhai hefyd a ddinystriwyd am eu creulondeb. 21 Iechydwriaeth gweddill Israel.*

GWAE e y rhai sydd yn gwneuthur deddf- e Dat.
au anwir, a'r rhai sy yn peri i'w sgrifen- Ioan 6,
yddion sgrifennu blinder, Dan. 6,
2 f I ymchwelyd y tlodion oddiwrth [eu] cyf- f Luc

jawnder, ac i dreisio barn anghenogion fy mhobl:
fel y byddo y gweddwon yn yspail iddynt, ac
yr anrheithiant yr amddifaid.
g Hos. 9. 3 ᵍ A pha beth a wnewch yn nydd yr ymweliad,
11 Luc 19. 4 a'r destruw a ddaw o bell? at bwy y ffoiwch am
1 Thes. 1 gynhorthwy? a pha le y gedwch eich gogoniant?
10 Luc 19. 12 4 ‡Hebo fi y cwympant tann yr hwn a rwym-
Ioan 6. 68 wyd, a thann y rhai a laddwyd y syrthiant: er
‡ Neu Oni bu-asai i mi hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, onid etto [y
Galat. 3, mae] ei law ef yn estynedic.
2 Bren. 18 5 Gwae Assur gwialen fy llid, canys y ffon yn
eu llaw hwynt [yw] fy nigofaint.
6 At genhedlaeth druthiawc yr anfonaf ef, ac
oddiar bobl [wedi haeddu] fy nigter gorchym-
ynaf iddo yspeilio yspail, ac ysclyfaethu ysclyf
aeth, ai gosod hwynt yn sathrfa megis tom yr
heolydd.
7 Ond nid felly y tybia efe, ac nid felly y me-
ddwl ei galon, eithr [bydd] yn ei fryd ddifetha, a
thori ymaith genhedlaethau [lawer] nid ychydig.
h 2 Bren. 18, 24 8 ʰ Canys efe a ddywed, Onid [yw] fy nhyw-
ysogion eu gyd yn frenhinoedd?
9 Onid fel Carcamis [yw] Calno? onid fel Ar-
phad [yw] Hamath? onid fel Damascus [yw]
Samaria?
10 ⁱ Megis y cyrhaeddodd fy llaw deyrnasoedd
yr eulynnod: felly [y cyrredd fy llaw i] eu delw-
an hwynt [allan] o Ierusalem, ac o Samaria.
11 ʲ Ond megis y gwnenthum i Samaria, ac
i'w heulynod; felly y gwnaf i Ierusalem ac i'w
delwau hithe:
1 Pedr 4 12 ᵏ A bydd pan gyflawno 'r Arglwydd ei
holl waith ym mynydd Sïon, ac yn Ierusalem:
yr ymwelaf â ffrwyth mawredd calon brenin
Assur, ac â gogoniant uchelder ei lygaid ef.
13 ˡ Canys dywedodd efe, Drwy nerth fy llaw
fy hun y gwnaethum [hyn] ac yn fy noethineb
fy hun: o herwydd deallgar ydwyf: am hynny
y symmudais derfynau pobloedd, ai tryssorau
a yspeiliais, ac a fwriais i'r llawr yn rymmus y
trigolion.
14 A'm llaw a gafodd gyfoeth y bobloedd fel
nyth, ac megis y cesclir wyau wedi eu gado y
cesclais yr holl ddaiar, ac nid oedd a symmude
aden, nac a agore safn, nac a yngene.
Ier. 51, 15 ᵐ A ymffrostia 'r fwyall yn erbyn yr hwn
a gymmyno â hi: a ymfawryga y llif yn erbyn
yr hwn ai cyfodo: megis pe ymdderchafe gwi-
alen yn erbyn y rhai ai codent hi i fynu, [neu]
megis pe ymdderchafe ffon na [bydde] yn bren.
n Deut. 4, 15 16 ⁿ Am hynny'r hebrwng Arglwydd Dduw y
lluoedd ym mhlith ei freision ef gulni: a thann
ei ogoniant ef y llysc llosciad megis llosciad tân.
2 Sam. 13, 6 17 ° A bydd goleuni Israel yn dân, ai Sanct
Thes. 5, ef yn fflam: yna y llysc efe ef, ac yr yssa ei
ddrain, ai fieri mewn un dydd.

18 ᵖ Gogoniant ei goed hefyd, ai ddol-dir a p 2 Bren. 19, 23
yssa efe yn gwbl: a bydd megis [llu wedi]
llesmeirio yr baner-wr.
19 ᵠ A phrennau gweddill ei goed ef a fyddant q Dat. 19, 18
[o] rifedi: fel y rhifo plentyn hwynt.
20 ʳ A bydd yn y dydd hwnnw, na chwanega r Dat. 12, 17
mwyach weddill Israel, a'r rhai a ddiangodd o Hos. 14, 4
dŷ Iacob ymgynnal ar yr hwn ai tarawodd:
onid pwysant at yr Arglwydd [sef] Sanct Israel
mewn gwirionedd.
21 Y gweddill a ddychwel [sef] gweddill
Iacob at y Duw cadarn.
22 ˢ Canys pe bydde dy bobl di O Israel fel ty- s Rhuf. 9, 27
fod y môr, y gweddill a ddychwel atto ef: dar- Dan. 12, 2
fodiad terfynedic a lifa drosodd [o] gyfiawnder. Sal. 119, 161
23 ᵗ Canys darfodedigaeth a [honno] yn der- Dan. 9, 4
fynedic a wna Arglwydd Dduw y lluoedd 1 Sal. 28, 22
yng-hanol yr holl dir.
24 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd
Dduw y lluoedd: fy mhobl y rhai a bresswylia
yn Sïon nac ofna rhag yr Assyriaid: â gwialen
i'th daru di, ac a gyfyd ei ffon i'th erbyn fel y
gwnaeth yr Aiphtiaid [gynt.]
25 Canys [aros] etto ychydig bach, ac fe a
dderfydd y llid, a'm digofaint [fydd] yn ddar-
fodigaeth iddynt hwy.
26 ᵘ Ac Arglwydd y lluoedd a gyfyd ffrewyll u 2 Bren. 19, 35
yn ei erbyn ef, megis pla Madian yng-hraig Dat 19 19
Horeb: fel [y cyfododd efe] ei wialen ar y môr, Barn. 9, 25
felly y cyfyd efe hi yn ffordd yr Aipht. Ex. 14, 28, 29
27 ᵛ A bydd yn y dydd hwnnw symmudo ei v Dat. 13, 7
faich ef oddi ar dy yscwydd di, ai iau ef oddi ar 1 Ioan 2, 20
dy warr di: a dryllir y iau gan yr olew. Dan. 9. 24
28 Daeth at Aiath, trammwyodd i Migron, 2 Sam 7 12
ym Michmas y rhydd ei arfau i gadw. Dat 17. 14 Act 4, 27
29 Aethant trwy y rhyd, yn Geba y lletteu-
asant [mewn] lletty: dychrynodd Rama, Gibea
[eiddo] Saul a ffoes.
30 Bloeddia [a th] lef merch Galim: gwrando
[ar] Laisa, Anathoth druan.
31 ʷ Ymbellaodd Madmena, trigolion Gebim w Ier. 4, 6
a ymgasclasant.
32 Etto y [bydd] dydd i sefyll yn Nob, yna
efe a gyfyd ei law [tua] mynydd merch Sïon,
bryn Ierusalem.
33 ˣ Wele Arglwydd Dduw y lluoedd yn ys- x Amos 2, 9
cythru y gangen mewn dychryn: a'r rhai uchel
o gyrph o dorrir ymmaith, a'r rhai goruchel a
ostyngir.
34 ʸ Ac efe a dyr ymmaith frysclwyni y coed y Ioel 2, 11
â haiarn: a Libanus drwy gryf a gwymp.

## PEN. XI.

*Achau, rhinweddau, brenhiniaeth, a hedd Crist.* 10 *G. lw-edigaeth y cenhedloedd.*

YNA ᶻ y daw allan wialen o gyff Isai: a z Mat. 2, 23
blaguryn a dŷf oi wraidd ef. Ies 23, 5

a Ioan 3, 2 [a] Ac Yspryd yr Arglwydd a orphywys arno
34 Mat 3,16 ef: Yspryd doethineb a deall, Yspryd cyngor a
chadernid, Yspryd gwybodaeth, ac ofn yr Ar-
glwydd.

3 [b] Ei ddeall hefyd [fydd] yn ofn yr Arglwydd,
bMat 9,4 Ioan 2,24 ac nid wrth olwg ei lygaid y barn efe, nac wrth
glywediad ei glustiau y cerydda efe.

cSal 72,4 4 [c] Ond efe a farn y tlodion mewn cyfiawnder,
Ioan 16 8 Mal 4 6 ac a argyoedda tros drueniaid y ddaiar mewn
Dat 2 16 a 19 15 iniondeb: ac a dery y ddaiar â gwialen ei enau
2 Thes 2 8 ef, ac âg anadl ei wefusau y lladd efe yr anwir.
dSal 45 4 5 [d] A chyfiawnder fydd gwregys ei lwynau ef,
5 a 72 12 a ffydd yn wregys ei arenau.

e Rhuf 8 6 [e] A'r blaidd a drig gyd â'r oen, a'r llewpard
20 Act 3 19 a orwedd gyd â'r myn: y llo hefyd a chenew y
Dat 22 3 llew a'r anifail brâs fyddant yng-hyd, a bachgen
bychan yn eu harwain.

7 Y fuwch hefyd a'r arth a borant yng-hyd,
eu llydnod a [gyd] orweddant: y llew fel yr ŷch
a bawr wellt.

8 A'r [plentyn] sugno a chwery wrth dwll yr
asp: ac ar ffau y wiber yr estyn yr hwn a ddi-
ddyfnwyd ei law.

f Hos2 18 Dat 18 1 9 [f] Ni ddrygant ac ni lygrant yn holl fynydd
fy sancteiddrwydd: canys y ddaiar a gyflawn-
wyd o wybodaeth yr Arglwydd, megis y dyfr-
oedd y rhai sydd yn toi y môr.

gDat 5 5 10 [g] Yn y dydd hwnnw gwreiddyn Isai fydd
Rhuf 15 yr hwn a saif yn arwydd i'r bobloedd, âg ef yr
12 ymgais y cenhedloedd: ai orphwysfa ef [fydd]
yn ogoniant.

hIer 16 14 11 [h] Bydd hefyd yn y dydd hwnnw i'r Ar-
glwydd fwrw eilwaith ei law i feddiannu gwe-
ddill ei bobl, y rhai a weddillir gan Assyria, a
chan yr Aipht, a chan Pathros, a chan Ethiopia
a chan Helam, gan Sinear hefyd, a chan Ha-
math, a chan ynysoedd y môr.

iIoan 3 4 Act 13 46 12 [i] Ac efe a gyfyd faner i'r cenhedloedd, ac a
Ioan 7 35 gynnull gyrwydriaid Israel: ac a gascl wasgar-
Iago 1 1 edigion Iuda o bedwar man byd.

jEph 2 14 13 [j] Cenfigen Ephraim y ymedu hefyd, a gwrth-
Ezec 36 wynebwyr Iuda a dorrir ymmaith: ni chen-
b Sal 72 3 figenna Ephraim wrth Iuda, ac ni chyfynga Iuda
ar Ephraim.

k Mat 8 14 [k] Ond hwy a ehedent ar ysgwyddau y Phil-
11 Dat16 12 istiaid tua'r gorllewyn, yng-hyd yr yspeiliant
feibion y dwyrain: Edom a Moab [fyddant
dann] estynniad eu llaw hwynt, meibion Ammon
[mewn] ufydd-dod iddynt.

1Zec10,11 15 [l] Yr Arglwydd hefyd a ddifroda dafod môr
Dat 16 12 yr Aipht, ac ai wynt nerthol efe a gyfyd ei law
ar yr afon: ac ai tery hi yn saith o ffrydau ac
a wna rodio [ynddi] yn droed-sych.

16 A bydd yn briffordd i weddill ei bobl ef, y
rhai a adewir o'r Assyriaid, megis ac y bu i Is-
rael yn y dydd y daeth efe i fynu o dir yr Aipht.

## PEN. XII.

*Eglwys Dduw yn canu moliant am ei goruchafiaeth.*

YNA [m] y dywedi yn y dydd hwnnw, molaf mSal 126
di O Arglwydd, canys sorraist wrthif: 5,6 Dat 19 1
dychwel dy lid, a thi a'm cyssuri.

2 [n] Wele Duw [yw] fy iechydwrieath, gobeith- Hos 1 11 n Luc 1
iaf ac nid ofnaf, canys yr Arglwydd Dduw 30 Sal 83 18
[yw] fy nerth a'm cân: efe hefyd yw fy iech-
ydwriaeth.

3 [o] Am hynny mewn llawenydd y tynnwch o Ioan 4
ddwfr o ffynhonau iechydwriaeth. 14

4 [p] Chwi hefyd a ddywedwch yn y dydd hwn- pSal 105 1
nw, Molwch yr Arglwydd, gelwch ar ei enw Phil 2 9
ef, hyspysswch ei weithredoedd ef ym mhlith y
bobloedd, cofiwch mai derchafedic yw ei enw ef.

5 [q] Cenwch i'r Arglwydd canys mawrhydri a qDat 15 3
wnaeth efe: bydded hyn yn yr holl dir.

6 [r] Bloeddia, a chan-mola presswyl-ferch Si- rSal 71 22
on: canys mawr [yw] Sanct yr Israel o'th
fewn di.

## PEN. XIII.

*Dinistr Babilon trwy'r Mediaid.*

BAICH [s] Babilon yr hwn a welodd Esay s1 Bren 9 13
mab Amos.

2 [t] Derchefwch faner ar y mynydd goruchel, tIer 51 25
derchefwch lef attynt, cyfodwch law, ac ânt i
fewn pyrth y pendefigion.

3 [u] Myfi a orchymynnais i'm rhai sancteiddiol, u Dat 17 14
gelwais hefyd fyng-hedyrn yn fy nigter, y rhai Ioel 3 11 Dat 15 1
a ymhyfrydant yn fy mawredd. Sal 19 5 6

4 [v] Llef tyrfa [sydd] yn y mynyddoedd, yn v Ier 50
gyffelyb i bobl lawer: swn twrwf teyrnasoedd 9 Dat 16 1
y cenhedloedd wedi ymgynnull, Arglwydd y
lluoedd sydd yn cyfrif llu y rhyfel.

5 [w] Dyfod y maent o wlad bell, o eithaf y wZec 19 11
nefoedd: [sef] yr Arglwydd, ac arfau ei lid- Dat 15 1
iawgrwydd ef i ddifa'r holl dir.

6 [x] Udwch, canys agos yw diwrnod yr Ar- x Dat 6
glwydd: megis anrhaith oddi wrth yr Holl-all- 16 Ier 25
uog y daw.

7 Am hynny 'r holl ddwylo a laesir: a phob
calon dyn a dawdd.

8 [y] A hwynt a ddychrynir, gwewyr, a dolur- ySal 48 6 Dat 19 20
iau ai deil hwynt, megis [gwraig] yn escor yr
ymofidiant, pawb wrth ei gyfaill a ryfeddant, ai
hwyneban [fyddant] wynebau fflamllyd.

9 [z] Wele ddydd yr Arglwydd yn dyfod yn zMal 4 1 Sal 104 35
greulon, a digofaint, a digter llidiog, i osod y
wlad yn ddiffaethwch: ai phechaduriaid a ddi-
fa efe o honi.

10 [a] Canys sêr y nefoedd ai planedau ni rodd- a Luc 21
ant eu llewyrch: yr haul a dywyllir yn ei god- 25
iad, a'r lloer ni oleua â'i llewyrch.

11 [b] A mi a ymwelaf â'r byd [am ei] ddryg- b Dat 18 5
ioni, ac â'r annuwiolion [am] eu hanwiredd; a
gwnaf i falchder y rhai rhyfygus beidio; gos-

tyngaf hefyd uchter y rhai ofnadwy.
cSal. 19, 12 ᶜ Gwnaf ddyn yn werthfawrysach nag aur
Dat. 16, coeth, ïe dyn [yn werthfawrysach] na chûn o
21 aur Ophir.
dHag. 2, 13 ᵈ Am hynny y cyffroaf y nefoedd, a'r ddai-
7 Dat. 14, 20 ar a gryna oi lle gan ddigofaint Arglwydd y
11 lluoedd, yn nydd llid ei ddigter ef.
e Ier. 50, 14 ᵉ A [Babilon] fydd megis ewig darfedig,
16 ac fel dafad heb neb ai coleddo: pawb a wyn-
ebant at eu pobl eu hun, a phawb iw gwlad eu
hun a ffoant.
f Dat. 18, 15 ᶠ Pob un a geffir ynddi a drywenir: a phawb
14 16 13 16 a chwaneger [atti] a syrth drwy 'r cleddyf.
g Sal. 137, 16 ᵍ Eu plant hefyd a ddryllir o flaen eu lly-
9 gaid: eu tai hwynt a yspeilir, ai gwragedd a
dreisir.
i Dan. 5, 17 ʰ Wele fi yn cyfodi y Mediaid yn eu her-
15 Sam. 15, byn hwy: y rhai ni roddant fri ar arian: a'r
10 aur ni hyfrydant ynddo.
Iercf. 13 18 ⁱ A bwâu y drylliant y plant, ac [wrth]
ar 50, 15 ffrwyth bru ni thosturiant: eu llygad nid eiriach
morr meibion.
Gen. 19, 19 ʲ Yna Babilon (prydferthwch y teyrnas-
3 oedd, gogoniant [a] rhyfyg y Caldeaid) fydd
megis y dinistr [a wnaeth] Duw ar Sodoma, a
Gomorra:
Dat. 18, 20 ᵏ Ni chyfanneddir hi yn dragywydd, ac ni
phreswylir hi o genhedlaeth i genhedlaeth: ac
ni phabella Arabiad yno, a'r bugeiliaid ni chor-
lannant yno.
Dat. 18, 2 21 ˡ Onid anifeiliaid gwylltion a orweddant
ca. 34, yno, ai tai hwynt a lenwir o ormessiaid, a chy-
cf. 11, 7 wion yr estris a drigant yno: a'r ellyllon a
lammant yno.
Ier. 51, 22 ᵐ A'r cathod a gydattebant yn ei 'gweddw-
am 7, 25 dai hi, a'r dreigiau yn ei phalasoedd hyfryd: ai
ab. 2, 3 hamser [sydd] y agos i ddyfod, ai dyddiau nid
at. 11, oedir.
9

## PEN. XIV.

*Dychweliad y bobl o gaethiwed. Dinistr y Babiloniaid, a'r Philistiaid.*

Sal 102, CANYS ᵃ yr Arglwydd a dosturia wrth
ch 2, 18 Iacob, ac a ddethol Israel etto, ac a bar
iddynt orphwys yn eu tir eu hunain: a'r dieithr
a ymgyssylltа â hwynt, ac hwy a lynant wrth
dŷ Iacob.
Sal. 94, 2 ᵇ Y bobl hefyd ai cymmer hwynt, ac ai dyg-
ant i'w lle eu hun, a thŷ Israel ai meddianna
hwynt yn nhŷ yr Arglwydd yn weision, ac yn
forwynion: a hwynt a gaethiwant y rhai ai
caethiwodd hwythau, ac a lywodraethant ar eu
gorthrym-wyr.
Act. 3, 3 ᶜ A bydd yn y dydd y rhoddo 'r Arglwydd
ch. 4, 9 lonyddwch i ti oddi wrth dy flinder, ac oddi
at. 1, 17 wrth dy ddychryn, ac oddi wrth y caethiwed
caled yr hon a wasanaethaist,

Rhif. xiv,

4 ᵈ Yna y cymmeri y ddammeg hon yn erbyn sDat. 18, 16
brenin Babilon, ac y dywedi: Pa wedd y peid-
iodd y gorthrymwr: ac y peidiodd y dreth aur?
5 ʳ Yr Arglwydd a ddrylliodd ffonn yr anwir- rSal. 125, 3
iaid [a] theyrn-wialen y llywawd-wyr,
6 ˢ Yr hon sydd yn taro y bobloedd mewn sDat. 17, 6
ddigllonedd â phla gwastadol, yr hon sydd yn Ier. 50, 33
llywodraethu y cenhedloedd mewn llidiawg- 34 Dat. 17, 17
rwydd, heb luddio erlid [neb.]
7 ᵗ Gorphwysodd [a] llonyddodd yr holl dir, t Ier. 50, 34
canasant o lawenydd. Dat. 18,
8 ᵘ Y ffynnid-wydd hefyd [a] chedr-wydd Li- 20 a 19, 1, 2 u Rhuf. 8, 22
banus a lawenhasant yn dy erbyn [gan ddyw- Sal. 149, 9,
edyd,] Er pan orweddaist ni ddringodd cym- 13
mynydd arnom.
9 Uffern oddi tanodd a grynodd i'th erbyn
wrth gyfarfod a'th ddyfodiad, cyfododd rhai
meirw [a] holl dywysogion y tir: cyfododd holl
frenhinoedd y cenhedloedd oi gorseddfaon.
10 ᵛ Y rhai hynny oll a attebant, ac a ddywedant vSal. 82, 6
wrthit, A wanhauwyd tithe fel ninnau? a aeth-
ost ti yn gyffelyb i ni?
11 ʷ Discynnwyd dy falchder i uffern, [er] trwst wDat. 17, 4 a 18, 7
dy nablau: tannat y tenir pryf, pryfed hefyd
a'th doant.
12 ˣ Pa fodd y syrthiaist o'r nefoedd Lusiffer x Sal. 89, 39, 44
mab y wawr ddydd? [ac] i'th dorwyd ti i lawr
yr hwn a wanheaist y cenhedloedd?
13 ʸ Canys ti a ddywedasyd yn dy galon, Mi y 2 Thes. 2, 4
a ddringaf i'r nefoedd, oddi ar sêr Duw y der- Dat. 1, 20
chafaf fyng-orseddfa, ac mi a eisteddaf ym my- Dan. 11, 31
nydd y gynnulleidfa ar ystlyssau y gogledd.
14 ᶻ Dringaf yn uwch na'r cwmylau, tebyg z 2 Thes. 2, 4
fyddaf i'r Goruchaf.
15 ᵃ Er hynny i uffern i'th ddescynnir i ystlys- aDat. 19, 20
au yr ffos.
16 ᵇ Y rhai a'th welant a edrychant arnat, [ac] bSal. 58, 7 Dat. 15, 4
a feddyliant am danat: ai dymma y gŵr a
ddychrynnodd y tir, gan gynhyrfu teyrnasoedd?
17 A osododd y byd fel anialwch, ac a ddin-
istriodd ei ddinasodd, heb ollwng ei garcharor-
ion adref?
18 Holl frenhinoedd y cenhedloedd a orwedd-
asant mewn gogoniant bob un yn ei dŷ ei hun.
19 ᶜ Eithr ty di a fwriwyd allan o'th fedd fel cSal. 97, 2 Dat. 19, 17
cangen ffiaidd [neu] wisc y lladdedigion y rhai 18
a drywanwyd â chleddyf: y rhai [hefyd] a ddes- Dan. 5, 30 Ier. 22, 19
cynnent ym mysc cerric y ffos, fel celen sathr-
edic.
20 ᵈ Ni byddi mewn un bedd â hwynt, o her- d Iob 18, 19
wydd dy dir dy hun a ddifethaist, a'th bobl a Sal. 37, 28 e Ex. 20, 5
leddaist: ni bydd had yr annuwiol enwog byth. Mat. 23, 35
21 ᵉ Darperwch laddfa iw feibion ef, am an- Dan. 5, 22, 23
wiredd eu tadau, rhac codi o honynt a gorescyn f Deut. 25, 19
y tir, a llenwi wyneb y byd â gelynnion. Diar. 10, 7
22 ᶠ Minne a gyfodaf yn eu herbyn hwynt Ier. 51, 63 Iob 18, 19

6 X

medd Arglwydd y lluoedd, ac a dorraf allan o
Babilon henw a hiliogaeth, sef mab ac wyr
medd yr Arglwydd.
g Seph. 2, 14 23 g Ac ai gosodaf hi yn feddiant draenogiaid,
1 Bren.14, 10 ac yn byllau dyfroedd: yscubaf hi hefyd, ag
yscubau destruw, medd Arglwydd y lluoedd.
24 Tyngodd Arglwydd y lluoedd gan ddyw-
édyd, [Nid geir-wir fi,] onid megis yr amcenais,
felly y bydd: ac fel yr ymgynghorais, hynny
a saif.
h Mal.4,3 Sal. 18,42 25 h Am ddryllio Assur yn fy nhir, canys
sathraf ef ar fy mynyddoedd, fel y cilio ei iau ef
oddi arnynt, ac y symmuder ei faich ef oddi ar
eu hyscwyddau hwynt.
i Mal. 4,6 26 i Dymma y cyngor a gymmerwyd am yr
holl ddaiar, ac dymma y llaw a estynnwyd ar yr
holl genhedloedd.
27 O herwydd Arglwydd y lluoedd a'ym-
gynghorodd, a phwy ai diddymma? ei law ef
hefyd a estynnwyd, a phwy ai detro.
j Ier. 47,1 2 Bren.16, 20 28 j Yn y flwyddyn y bu farw brenin Ahaz,
y bu y bygwth hwn.
k 2 Cron. 28, 18, 27 29 k Palestina na lawenycha di yn hollawl er
2 Bren.18, 8 torri gwialen dy darawudd: o herwydd o
wreiddyn y sarph y daw gwiber allan, ai ffrwyth
hi fydd sarph danllyd hedegoc.
30 Yna y porthir cyn-blant y tlodion, a'r rhai
anghenus a orweddant mewn diogelwch: eithr
lladdaf dy wreiddyn di â newyn, yntef a ladd
dy weddill.
l 2 Bren. 18, 8 31 l Uda borth, gwaedda ddinas, Palestina ti
oll a doddwyd: canys mwg sydd yn dyfod o'r
gogledd, ac ni [bydd neb] neullduol yn ei amser-
oedd nodedic ef.
m 2 Bren. 20, 12 32 m A pha beth a attebir i gennadau y cen-
Mat.16,18 Sal. 102, 13, 16 hedloedd? eithr seilio o'r Arglwydd Sïon, ac y
gobeithia trueniaid ei bobl ef ynddi.

## PEN. XV.

*Prophwydoliaeth yn erbyn Moab.*

n Ezec. 24, 8 BAICH n Moab. Diau mai mewn noswaith
1 Thes. 5, 3 y dinistrwyd [ac] y destruwiwyd Ar
Dan.5,30 Moab: diau mewn noswaith y dinistriwyd, ac y
destruwiwyd Tir Moab.
o Ier. 48, 37 2 o Aeth i fynu i Baitha, Dibon, i'r uchelfaou
Ier. 3, 7, 29 i wylo: am Nebo, ac am Medba yr uda Moab,
Ezec7,18 [bydd] moelni ar eu holl bennau, a phob barf
wedi ei heillio.
p Seph.1, 3 3 p Yn ei heolydd hi yr ymwregysant â sach-
liain, ar ei thai hi, ac yn ei heolydd yr uda hi
oll: mewn wylofain y mae yn descyn.
q Gen. 27, 46 4 q Gwaedda Hesbon hefyd, ac Eleale, hyd,
Iob 3, 20 Iahaz y clywir eu llefain hwynt: am hynny ar-
fogion Moab a floeddiant, [pob un] a flina oi
einioes.
r Ier. 47,6 a 48, 31 5 r Fyng-halon a waedda am Moab, ei ffoad-
Ier.48,34 1 Sam.6,7 uriaid hi a ânt hyd Zoar [fel] anner deir-blwydd,
mewn wylofain y dring hi hyd allt Luith: canys
codant waedd dinistr [a'r hyd] ffordd Horonaim.
6 s O herwydd dyfroedd Nimrim a fyddant yn s Num.32,
anrhaith, canys gwywodd y llyssiau, darfu y 34
gwellt, nid oes gwyrdd-lesni.
7 Am hynny yr hyun a weddillwyd, ai golud
a ddygant i afon yr helyg.
8 Canys y gweiddi a amgylchynodd derfyn
Moab, eu hudfa [ydoedd] hyd Eglaim, ai hoch-
ain [hyd] Beer Elim.
9 t Dyfroedd Dimon a lawnwyd o waed, canys t 2 Bren. 3,
gosodaf ychwaneg ar Dimon: llewod [fyddant] 22 Ier. 48, 44
yn erbyn y rhai a ddiangant ym Moab, ac yn 1 Sam. 17,
erbyn y gweddill y wlad. 49

## PEN. XVI.

*Ashosion dinistr Moab.*

ANFONWCH u oen i lywodraeth-wr y tir o u Dat. 21,
graig yr anialwch, i fynydd merch Sïon. 1 Dat. 11,
2 v Ac fel y bydd aderyn yn gwibio wedi ei 15 v 2 Bren.
ollwng [o'r] nŷth, a bydd merched Moab [wrth] 3, 5
rydau Arnon.
3 w Dwg gyngor, gwna farn, gosot yng-halon w Mat.5,
hanner dydd dy gyscod fel nos: cuddia y rhai 35 Heb.13,3
gwascaredic, na ddatcuddia y cyrwydrad. Ios. 2, 3 1 Sam. 22,
4 x Triged fy ngwascaredigion yn dy fysc di, 7 x Heb. 11,
Moab bydd di loches iddynt rhag y dinystrudd, 37
canys diweddwyd y gorthrymmudd, yr anrheith- 1 Cor. 4,
wyr a ballasant, y mathr-wyr a ddarfuant o'r tir. 11 Dat. 3,17
5 y A gorsedd-faingc a ddarperir mewn tru- y Dan. 7,
garedd, ac arni yr eistedd mewn gwirionedd o 14 Mica4,7
fewn pabell Dafydd [un] yn barnu, ac yn ceisio
barnedigaeth, ac yn prysuro at gyfiawnder.
6 z Clywsom falchder Moab, balch iawn [yw, z Dat. 18,
er] ei falchder, ai draha, ai ddigllonedd nid 4 a 11, 7
felly [y daw] ei gelwyddau. Ester5,8, 9
7 a Am hyny 'r uda Moabiad wrth Moabiad, a 2 Bren.3,
pob un a uda: am sylfeini Tir Hareseth y 25
griddfenwch, er hynny hwynt a darewir.
8 Canys gwin-wydd Hesbon a dorrwyd i
lawr, [ac am] win-wydden Sibma arglwyddi y
cenhedloedd a escydwasant ei phêr winwydd
hi, hyd Iazer y cyrhaeddasant, cyrwydrasant
ar hyd yr anialwch, ei changhennau a ymes-
tynnasant, [ac] aethant tros y mor.
9 b Am hynny 'r wylaf tros Iazer, [a] gwin- b Ier. 48,
wydden Sibma, dwfrhaf dithe Hesbon, ac Ele- 5
ale a'm dagrau: canys ar dy ffrwythydd haf, ac
ar dy gynhaiaf y syrthiodd bloedd.
10 c Y llawenydd hefyd a'r gorfoledd a dder- c Ier. 48, 33
fydd o'r dolydd, ni chenir, ac ni chrechweinir yn d Mat. 9, 15
y gwinllanoedd, ni sathr sathrudd wîn yn y Hos.11,8
gwryfoedd: gwnaf i gân hyfrydaidd beidio. e Num.21, 9
11 d Am hynny y rhua fy ymyscaroedd am 2 Bren.19, 37
Moab fel telyn, a'm perfedd am Cir Hares. Sal. 15,3
12 e A phan weler blino o Moab ar yr uchel 1 Bren.18, 26
fannu, yna y daw efe i'w gyssegr i weddio, ond Diar. 21, 31

ni thyccia.
13 Dymma yr gair yr hwn a lefarodd yr Arglwydd yn erbyn Moab yr amser hwnnw.
f 2 Bren. 3 9 Deut. 15, 18 14 ᶠ Llefarodd yr Arglwydd yr awr hon hefyd gan ddywedyd: O fewn tair blynedd fel blynyddoedd gwas cyflog y dirmygir gogoniant Moab yn mhob tyrfa fawr, a'r gweddill [fydd] ychydig bach, [a] dirym.

## PEN. XVII.

*Prophwydoliaeth yn erbyn Damascus.*

g Ier. 49, 23 1 Bren. 16 19 BAICH ᵍ Damascus. Wele Ddamascus wedi symmud o [fod] yn ddinas, a charnedd wedi ei syrthio a fydd hi.
h Ier. 7, 33 2 Bren. 15 29 a 17, 9 2 ʰ Gwrthodedic ddinasoedd Aroer a fyddant eiddo 'r preiddiau: yno y gorweddant, ac ni [bydd] dychrynnudd.
3 Yna y derfydd amddeffynfa o Ephraim, a brenhiniaeth o Ddamascus, a gweddill Syria: fel gogoniant meibion Israel y byddant medd Arglwydd y lluoedd.
Deut. 32 5 4 ⁱ Ac ar y dydd hwnnw y bydd i ogoniant Iacob feinhau, a brasder ei gig ef a gulha.
Dat. 14, 5 ʲ Ac efe a fydd fel pe casgle [un] gynhaiaf ŷd, ac pe mede ei fraich dwysennau: a bydd fel casgludd twysennau yng-lynn Rephaim.
2 Bren. 24 6 ᵏ Ac ynddo y gadewir grawn-wîn, fel escydwad olewydden, [sef] dau [neu] dri o rawn ymlaen y brig, [a] phedwar [neu] bump yn ei changhennau ffrwythlawn, medd Arglwydd Dduw Israel.
Esa 7 7 7 ˡ Yn y dydd hwnnw yr edrych dyn am ei wneuthur-wr, ai lygaid a edrychant am Sanct Israel.
Hos. 14 8 ᵐ Ac nid edrych am yr allorau [y rhai ydynt] waith ei ddwylo, ïe nid edrych am yr hyn a wnaeth ei fyssedd, sef llwyni a delwau.
9 Yn y dydd hwnnw y bydd eu dinasoedd cedyrn fel y blagur a'r brig gwrthodedic y rhai a adawsant o herwydd meibion Israel: felly y bydd [y wlad] yn ddiffaethwch.
Sal. 106, 10 ⁿ O herwydd anghofio o honot Dduw dy iechydwriaeth, ac na chofiaist graig dy gadernid: am hynny y pleni blanhigion hyfryd, ac yr impi hwynt â changhennau dieithr.
11 ᵒ Y dydd y gwnei i'th blanhigyn dyfu, a'r boreu y gwnei i'th hâd flodeuo, cogwrn cynhaiaf [fydd] ar ddydd llescedd, a dolur gofidus.
12 ᵖ Gwae dyrfa pobloedd lawer, fel twrwf y môr y trystiant, îe twrwf y bobloedd a drystiant fel sŵn dyfroedd lawer.
13 ᑫ Fel sŵn dyfroedd lawer y trystia y bobl, a [Duw] ai cerydda hwynt, yna y ffoant ymhell, ac yr erlidir hwynt fel peiswyn mynydd o flaen gwynt, ac fel troell ym mlaen corwynt.
2 Bren. 19, 35 14 ʳ Ac wele ddychryn ar brydnawn, a chyn y boreu ni bydd: Dymma rann y rhai a'n sathrant ni, a choel-bren y rhai a'n yspeiliant ni.

## PEN. XVIII.

*Dinystr yr Ethiopiaid, a'r cenhedloedd a gynnorthwyent Senacherib, yn erbyn Ierusalem 7 Galwedigaeth y cenhedloedd.*

s Ezec. 30 5 GWAE 'r ˢ tir cyscodol ei adenydd, yr hwn [sydd] tu hwnt i afonydd Ethiopia.
t Ezec. 30 9 Deut. 28, 49 Gen. 10, 8 9 2 ᵗ Yr hwn a hebrwng gennadau hyd y môr, ac ar hyd wyneb y dyfroedd mewn llestri brwyn [gan ddywedyd,] Ewch gennadon cyflym at genhedlaeth wascaredig, ac yspailiedic at bobl ofnadwy, er pan ydynt, ac etto: cenhedlaeth wedi ei sathru bob ychydig ac ychydig, yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei thir.
u Dan. 9, 12 13, 14 Mica 6, 9 3 ᵘ Holl drigolion y byd, a phreswyl-wyr y tir, cewch weled pan gyfoder baner [ar] y mynyddoedd, a chewch glywed pan udcenir udcorn.
v Sal. 72, 6 Cau. 2, 7 4 ᵛ Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthif, Byddaf lonydd, a chaf weled yn fy annedd megis gwres yn discleirio ar y llysiau, fel niwl gwlith yng-wres cynhaiaf.
w Ezec. 18, 2 5 ʷ Canys o flaen cynhaiaf, pan ddarfyddo y blodeuu a bod y grawn-wîn surion yn addfedu, yna y tyrr efe y brig â chrymmau, ac y tynn efe ymmaith, [ac] y tyrr y canghennau.
x Dat. 19, 18 Sal. 119, 119 Act 12, 23 Mal. 4, 3 6 ˣ Gadewir hwynt ynghyd i adar y mynyddoedd, ac i anifeiliaid i tir, ac arno ef y bwrw yr adar yr hâf, a holl anifeiliaid y tir a aiafant arno ef.
y Rhuf. 12 1 a 15, 16 Sal. 72, 10 Mal. 11, 1 7 ʸ Yr amser hwnnw y dygir rhodd i Arglwydd y lluoedd [gan] bobl wascaredic, ac yspailiedic, a chan bobl ofnadwy er pan ydynt ac etto: cenedl wedi ei sathru bob ychydig, ac ychydig, yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei thir,) i le enw Duw yr lluoedd, [sef i] fynydd Sion.

## PEN. XIX.

*Prophwydoliaeth am ddinystr yr Aipht. 18 A galwedigaeth y cenhedloedd.*

z Deut. 11, 10 Sal. 68, 34 BAICH ᶻ yr Aipht: Wele 'r Arglwydd yn marchogaeth ar gwmwl yscafn, ac efe a ddaw i'r Aipht, ac eulynnod yr Aipht a symmudant rhagddo ef: a chalon yr Aipht a dawdd yn ei chanol hi.
a Barn. 7, 22 2 Cron. 20 23 1 Sam. 14, 16, 20 2 ᵃ Gyraf hefyd Aiphtiad yn erbyn Aiphtiad, fel yr ymladdant bob un yn erbyn ei frawd, a phob un yn erbyn ei gyfaill, dinas yn erbyn dinas [a] theyrnas yn erbyn teyrnas.
b Iob 5 13 Diar. 21, 30 Ex. 8, 19 a 9, 11 a 47, 12 3 ᵇ Ac yspryd yr Aipht a balla yn ei chanol hi, ac mi a ddiddymmaf ei chyngor hi: yna 'r ymofynnant âg eulynnod, ac â swynyddion, ac â dewiniaid, ac â bryd-wyr.
c Ezec. 29 19 Ier. 46, 26 4 ᶜ Ac mi a gaeaf yr Aipht yn llaw arglwyddi caledion, a brenin cadarn a lywodraetha arnynt medd Arglwydd Dduw y lluoedd.
d Ezec. 29 3 a 30, 12 5 ᵈ A'r dyfroedd a ddarfyddant o'r môr, yr afon hefyd a sych, ac a aiff yn hesb.
e Ezec. 32 2 Amos 9, 1 2 6 ᵉ Yr afonydd a giliant, y ffynhonnau caeroc a feinhant, ac a sychant: torrir ymmaith [bob] corsen a hesceu.

f Deut.11, 10, 11 7 f Y glas-wellt wrth yr afon, ar fin yr afon, a
phob peth fyddo yn tyfu wrth yr afon a wywa,
a chwelir, ac [ni bydd] efe [mwy.]
g Dat.18, 17 Hos. 5,1 8 g Y pyscod-wyr hefyd a dristhant, a'r rhai oll
a fwriant fachau a alarant: felly y rhai a danant
rwydau ar hyd wyneb y dyfroedd a lescânt.
9 Yna y gwradwyddir y rhai a weithiant
fein-llin, a'r rhai a weuant rwydau.
h Dat.18, 13 10 h Yna y bydd ei rhwydau hi 'n ddrylliedic
[a'r] rhai oll a wnant byscod-lynnau.
i Rhuf. 1, 22 11 i Er hynny ynfydion tywysogion Zoan,
2 Pedr. 2, 12 doethion gynghor-wyr Pharao, ynfyd yw [eich]
Jer. 8, 8 cyngor, pa fodd y dywedwch wrth Pharao,
Mab y doethion [ydwyt ti, a] mab hen frenhin-
oedd?
j 1Cor. 1, 28 12 j Mae hwynt, mae dy ddoethion? myneg-
ant it yr awr hon, a mynant wybod pa gyngor
a gymmerodd Arglwydd y lluoedd yn erbyn
yr Aipht.
13 Tywysogion Zoan a ynfydasant, twyllwyd
tywysogion Noph, a phennaethiaid eu llwythau
a hudasant yr Aipht.
k 1Bren. 22, 22 14 k Cymmyscodd yr Arglwydd ynddi yspryd
2Thes. 2, 10 gwrthnyssigrwydd, fel y gwnaethant i'r Aipht
Dat. 17, 2 amryfuso yn ei holl waith fel yr amryfusa
meddwyn yn ei chwdfa.
15 Ac ni bydd yn yr Aipht waith, yr hwn a
wnelo y pen na'r gloren, y gangen na'r gorsen.
l Jer. 50, 36 16 l Y dydd hwnnw y bydd yr Aipht fel gwra-
Diar. 28, 1 gedd, canys hi a ddychryna, ac a ofna rhag
escydwad llaw Arglwydd y lluoedd, yr hon a
gyfyd efe yn ei herbyn hi.
17 Yna y bydd Iuda yn arswyd i'r Aipht, pwy
bynnac ai cofia hi a ofna ynddo ei hun rhag
cynghor Arglwydd y lluoedd, yr hwn a gymmer
efe yn ei herbyn hi.
m Sal.119, 106 18 m Y dydd hwnnw y bydd pum dinas yn
Act.19,19 nhir yr Aipht yn llefaru iaith Canaan, ac yn
tyngu i Arglwydd y lluoedd: dinas ddestruw y
gelwir un.
n Heb.13, 10 19 n Y dydd hwnnw y bydd allor i'r Arglwydd
Ioan 4,23, 24 yng-hanol tir yr Aipht, a cholofn i'r Arglwydd
1Tim.2,8 ger llaw ei therfyn hi.
Rhuf. 1, 3 20 o Yn arwydd hefyd ac yn destiolaeth y
1Pedr 2, 5 bydd i Arglwydd y lluoedd yn nhir yr Aipht,
o Rhuf.8, 15 canys llefant ar yr Arglwydd rhagen gorthrym-
Tit. 2, 13 wyr, ac efe a hebrwng iddynt Iachawdur a
1Tim. 6, 1 Phennaeth, ac efe ai gwared hwynt.
p Sal.9,16 21 p Yna yr adweinir yr Arglwydd yn yr Aipht,
Gal 4 8 Mal 1.11 ie yr Aiphtiaid a adwaenant yr Arglwydd yn y
dydd hwnnw: gwnant hefyd aberth ac offrwm,
ac addunant adduned i'r Arglwydd, ac [ai] talant
q Heb 12, 11 22 q Yr Arglwydd hefyd a dery yr Aipht, gan
daro ac iachau, hwythau a droant at yr Arglw-
ydd, ac efe ai gwrendaw hwynt, ac ai hiachâ
hwynt.

23 A'r dydd hwnnw y bydd sarn o'r Aipht i
Assyria, ac yr aiff Assyria i'r Aipht, a'r Aipht i
Assyria: a'r Aipht gyd ag Assyria a wasanaeth-
ant [Dduw.]
24 r Y dydd hwnnw y bydd Israel yn drydedd r Eph 2,13
i'r Aipht, ac i Assyria, [sef] yn fendith o fewn
y tir.
25 s Yr hwn [dir] a fendithia Arglwydd y llu- s Hos 2,23 Eph 2,10
oedd, gan ddywedyd, Bendigedic yw'r Aipht Rhuf.11, 29
fy mhobl mau fi, ac Assyria gwaith fy nwylo, ac
Israel fy etifeddiaeth.

## PEN. XX.

*Arwydd tair blynedd o gaethiwed ar yr Aipht, ac Ethiopia.*

YN t y flwyddyn y daeth Tharthan i Asdod, t 2 Bren 18, 17
(pan ddanfonodd Sargon brenin Assyria
ef,) ac yr ymladdodd yn erbyn Asdod, ac ai
hennillodd hi,
2 u Yr amser hwnnw y bu gair yr Arglwydd u 2Cor 12, 20
trwy law Esay fab Amos gan ddywedyd, Dos a Phil 3,8
dattod y sach-liain oddi am dy lwynau, a diosc Dat 11,3 Mal 4,4
dy escidiau oddi am dy draed: ac efe a wnaeth Phil 3,19
felly gan rodio yn noeth-lwm, ac heb escidiau.
3 v Dywedodd yr Arglwydd hefyd, Megis y v Pen 8,18
rhodiodd fyng-was Esay yn noeth, ac heb 2 Cor 11, 15
escidiau dair blynedd, yn arwydd, ac yn ar- Jer 13, 11
goel yn erbyn yr Aipht, ac yn erbyn Ethiopia.
4 w Felly yr arwein brenin Assyria gaethiwed w 2 Sam
yr Aipht, a chaethglud Ethiopia, [sef] yn 10, 4
llangciau, ac henaf-gwyr, yn noethion, ac heb Mica 1, 11
escidiau, ac yn din-noeth [yr hyn yw] gwarth
yr Aiphtiaid.
5 x Brawychant a chywilyddiant gan Ethiopia x 2 Bren
eu gobaith hwynt, a chan yr Aipht eu gogon- 18 21
iant hwy.
6 A'r dydd hwnnw y dywed presswylwyr yr
ynys hon, Wele fel hyn [y mae] ein gobaith ni
lle y ffoesom am gymmorth i'n gwared ni rhag
brenin Assyria: pa fodd gan hynny y diangwn?

## PEN. XXI.

*Prophwydoliaeth yn erbyn Babilon, Edom, ac Arabia.*

BAICH y anialwch y môr: fel y cor-wynt yn y Jer 51,42
dyfod o'r dehau tros yr anialwch, [felly] y
daw efe o wlad ofnadwy.
2 a Gweledigaeth galed a fynegwyd i mi, yr a Heb 1,5
anffyddlon sydd yn anffyddloni, ar dinistrudd Mat 7,1
sydd yn dinistrio: Elam dring, Media gwarchae,
gwnaf iw holl riddfan hi ddarfod.
3 * Am hynny y llanwyd fy lwynau o ddolur,
gwewyr a'm daliasant fel gwewyr gwraig yn
escor, ymdroais wrth glywed, [a] brawychais
wrth weled.
4 b Cyfeiliornodd fyng-halon, braw a'm dych- b Deut 28,
rynnodd, efe a osododd fyng-hyfnos dymunol 68
yn ddychryn i mi.
5 c Gosod y bwrdd, gwilia y ddisgwilfa, bwytta c Jer 51 39
[ac] yf, cyfodwch dywysogion, irwch darian. Dan 5,?

d Ezec.3, 17 Mat.28, 20 1Cor.11, 23 — 6 d O herwydd fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthif, Dos, gosot wiliedydd i fynegu yr hynn a welo.

e Neh.2, 8 Hab 2, 1 — 7 e Ac efe a welodd gerbyd, [a] dau o wŷr meirch: [sef] cerbyd assyn, a cherbyd camel, ac efe a ystyriodd yn ddyfal iawn.

f Dat.5,5 Hab 2, 1 — 8 f Ac efe a lefodd [fel] llew: fy Arglwydd, ar y ddisgwilfa yr wyf i'n sefyll liw dydd yn wastad, ac ar fyng-hadwriaeth yr ydwyf yn sefyll bob nos.

g Dat.18, 2 a 17, 4 — 9 g Ac wele ymma y daeth cerbyd gŵr[a] dau o wŷr meirch, ac efe a attebodd ac a ddywedodd, Syrthiodd, syrthiodd Babilon: holl ddelwau ei duwiau hi a ddrylliodd efe i lawr.

10 O fy nyrniad, a chnwd fy llawr dyrnu, yr hyn a glywais gan Arglwydd y lluoedd Duw Israel a fynegais i chwi.

h 2 Pedr 3, 3, 4 — 11 h Baich Duma. Arnaf i y galwodd efe o Seir, y gwarcheidwad beth am y nos? y gwarcheidwad beth am y nos?

i Ier. 30, Mic 6.3 Sal. 91,5 Seph 1.6 — 12 i Dywedodd y gwarcheidwad, Daeth y boreu a'r nos hefyd: os ceisiwch, ceisiwch: dychwelwch. deuwch.

Ezec. 14, Luc 13,5 — 13 Baich ar Arabia. Yn y coed yn Arabia y lletteuwch chwi, [yn] llwybrau Dedanim.

14 Deuwch ddyfroedd i gyfarfod â'r sychedig, trigolion tir Thema achubwch flaen y cyrwydr ai fara.

15 O herwydd rhag cleddyfau y cyrwydrasant, rhag cleddyf noeth, a bwa anneloc, a rhag trymder rhyfel.

16 O herwydd fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthif, Cynn pen blwyddyn o fath blwyddyn gwas cyflog, y derfydd hefyd holl anrhydedd Cedar.

j Sal. 120, 5 a 107, 39 — 17 j A'r gweddill o rifedi saethyddion cedyrn meibion Cedar a leiheiff: canys Arglwydd Duw Israel a lefarodd [hynn.]

## PEN. XXII.

*Prophwydoliaeth yn erbyn Ierusalem.*

k Sal.125, 2 — BAICH k glynn gweledigaeth: beth [a ddarfu i ti yn awr? pan ddringaist ti oll i nennau yr tai:

2 l Yn llawn terfysg ac yn ddinas derfysgol [yr aeth] y ddinas lawen, dy laddedigion ni laddwyd â chleddyf, na'th feirw â rhyfel.

m 2 Cron. 33, 3 — 3 m Dy holl dywysogion di a gydffoasant rhag y bwa, rhwymwyd hwynt: y rhai oll a gafwyd ynot a gyd-rwymwyd, a'r rhai a ffoasant ym mhell.

n Ier. 9, 1 Luc 19, 41 — 4 n Am hynny y dywedais, peidiwch â mi, mi a alaraf mewn wylofain, na lafuriwch fyng-hyssuro am ddinistr merch fy mhobl.

o Galar. 1, 2 Bren.18 — 5 o O herwydd diwrnod blinder, ac ymsathru ac ymddrysu [fydd] gan Arglwydd Dduw 'r lluoedd yng-lynn gweledigaeth, yn dinistrio y gaer, ac yn gweiddi ar y mynydd.

6 Yna Elam hefyd a arweiniodd y cawell saethau mewn cerbyd dynnion [traed, a] gwyr meirch: Cir hefyd a ddinoethodd y tarian.

7 A'th ddyffrynnoedd dewisol a lawnwyd â cherbydau, ac â gwyr meirch, gan osod gosodasant tua 'r porth.

8 p Ac efe a ddinoethodd dô Iuda, ac yn y dydd hwnnw yr edrychaist ar arfogaeth ty y goedwic. — p 1 Bren. 7, 2

9 q A gwelsoch rwygiadau dinas Ddafydd, mai aml oeddynt, a chasclasoch ddyfroedd y pyscodlyn issaf: — q 2 Cron. 32, 5

10 Rhifasoch hefyd dai Ierusalem, a diwreiddiasoch y tai i gadarnhau y mur.

11 r A rhwng y ddau fur y gwnaethoch lynn i ddyfroedd yr hen byscodlyn: ond nid edrychasoch am yr hwn ai lluniodd ef er ystalm. — r Diar. 16, 18 Mal.3, 17

12 s A'r dydd hwnnw y gwahadd Arglwydd Dduw y lluoedd [rai] i wylofain, ac i alar-nad, i foeledd hefyd, ac i ymwregyssiad â sach-liain. — s Hagg. 4, 8 Ioel 1, 13

13 t Eithr wele lawenydd, a gorfoledd, gan ladd gwarthec, a lladd defaid, gan fwytta cig, ac yfed gwin: gan fwytta, ac yfed, canys y foru [meddant] y byddwn feirw. — t 2 Bren. 6, 26 1 Cor. 7, 29, 30 a 15, 32

14 u A datcuddiwyd [hynn] lle y clywais i Arglwydd y lluoedd: [na choelier fi,] o chymmodir â hwynt am yr anwiredd hyn, hyd oni byddant feirw medd Arglwydd Dduw y lluoedd. — u Ezec. 24, 13 1 Sam. 3, 14

15 v Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, Cerdda, dos at y tressorudd hwn [sef] at Sebna, yr hwn [sydd] ben teulu. — v 2 Bren. 18, 37 a 19, 2 1 Bren. 4, 6

16 w Beth a wnei di ymma? a phwy [sydd] gennit ti ymma? pan drychaist i ti ymma fedd? O yr hwn a drychodd ei fedd yn uchel, ac a osododd ei anneddfa yn y graig: — w Sal. 49, 11 2 Sam. 18, 17, 18

17 x Wele'r Arglwydd yn dy fudo di fel mudo gŵr, a chan wisco, yn dy wisco di [â gwarth.] — x Ester 7, 8

18 y Gan dreiglo i'th dreigl di [fel] treigliad pêl ar hyd gwlad lydan ei hymylau: yno y byddi farw, ac yno [y bydd] cerbydau dy ogoniant ti yn warth tŷ dy feistr. — y Sal. 12, 8 Diar. 28, 12, 28 a 29, 2

19 z Yna i'th wthiaf o'th sefyllfa, ïe o'th sefyllfa y dinistria efe di, — z Sal. 75, 7

20 a Ac yn y dydd hwnnw y galwaf ar fyngwas Eliacim fab Hilcia. — a 2 Bren. 18, 18

21 b A'th ddillad ti hefyd y gwiscaf ef, ac a'th wregys di y nerthaf ef: a thann ei law ef y rhoddaf dy lywodraeth di, ac efe a fydd yn dad i bresswylwyr Ierusalem, ac i dŷ Iuda. — b Sal. 45, 4

22 c Rhoddaf hefyd agoriad tŷ Ddafydd ar ei yscwydd ef, yna yr egyr efe, ac ni [bydd] a gaeo: ac efe a gaea, ac ni [bydd] a agoro. — c Dat.3, 7

23 d A mi ai hoeliaf ef fel hoel mewn mann sicer, fel y byddo yn orseddfa gogoniant i dŷ ei dad. — d Ezra 9, 8 Dat. 3, 21

e Ioan 1, 16 24 e Ac arno ef y croga hil, ac eppil holl og-
1 Tim. 6, 15 oniant tŷ ei dad, [sef] yr holl faen lestri, o'r
Zec. 14, 20 llestri meiliau, hyd yr holl offer cerdd.
f 2 Bren. 24, 13 25 f Yn y dydd hwnnw medd Arglwydd y
Sal. 146, 3 lluoedd, y symmudir yr hoel a hoeliwyd yn y
Pen. 31, 3 mann siccr, a hi a dorrir, ac a syrth: torrir he
fyd y llwyth yr hwn [oedd] arni, canys Ar-
glwydd y lluoedd a lefarodd [hyn.]

## PEN XXIII.

*Prophwydoliaeth am ddinistr Tyrus ai hail gyweiriad.*

g Dat. 18, 16 BAICH g Tyrus: llongau Tharsis udwch
Ezec. 26, 7 canys anrheithiwyd [hi] fel nad oes dŷ i
fyned iddo: o dir Cittim yr ymddangosodd
[hyn] iddynt.
h Zec. 2, 13 2 h Distewch drigolion yr ynys, marchnadydd-
Ezec 26, 8 ion Zidon yn tramwy'r môr a'th lanwasant.
i Dat. 18, 11 3 i Had Nilus hefyd [yn tyfu] wrth ddyfroedd
Ezec. 27, 3 lawer, [a] chynhaiaf yr afon [oedd] ei chnwd hi:
felly marchnad y cenhedloedd ydoedd hi.
j Sal. 63, 6 Zec. 8, 5 4 j Cywilyddia Zidon, canys y môr, [ïe] cryf-
der y môr a lefarodd gan ddywedyd, Nid ym-
ddygais, ac nid escorais, ni fegais wŷr ieuaingc
ychwaith, ac ni feithrinais forwynion.
k Dat. 18, 10 5 k Pan glywir [hyn] ym mhlith yr Aiphtiaid,
hwynt a ymofidiant pan glywer son am Tyrus.
6 Ewch trosodd i Tharsis, udwch presswyl-
wyr yr ynys.
l Ezec. 27, 3 7 l Ond hon yw eich [dinas] chwi, [yr hon] fu
Preg. 10, 7 ogoneddus er ystalm byd? ei thraed ai har-
weiniant hi i ymdaith ym mhell.
m Ezec. 28, 22 8 m Pwy a ddychymmygodd hyn yn erbyn
Dat. 18, 15 a 9, 7 Tyrus goronog? yr hon [yr ydoedd] ei march-
a 17, 2 nadyddion yn dywysogion, ai marsiand-wyr yn
bendefigion y byd.
n Mal. 4, 1 9 n Arglwydd y lluoedd a ddychymmygodd
Iago 4, 6 hyn, i ddifwyno balchder pob gogoniant, [ac] i
ddirmygu holl bendefigion y byd.
10 Dos drwy dy wlad fel afon [at] ferch
Tharsis, nid [oes] nerth mwyach.
o Ex. 14, 21 11 o Estynnodd ei law ar y môr, dychrynodd
Hab. 3, 7 y teyrnasoedd, gorchymynnodd yr Arglwydd
Heb. 12, am Canaan, sef ddinistrio ei nerth hi.
p Dat. 18, 22 12 p Ac efe a ddywedodd, Na chwanega ym-
ffrostio mwyach yr orthrymedic forwyn merch
Zidon, cyfot dos i Cittim: yno ychwaith ni bydd
it lonyddwch.
q Gen. 10, 11 a 11, 8 13 q Wele dir y Caldeaid, nid oedd y bobl
Iob 3, 15 hyn [oddi] yno: Assur ai sylfaenodd hi i drig-
olion yr anialwch, derchafasant ei thyrau, cy-
fodasant ei phalasau, efe ai tynnodd hi i lawr.
14 Llongau Tharsis udwch: canys anrheith-
† Cyd a hyn y saf- iwyd eich nerth.
eddabi- 15 A'r dydd hwnnw yr anghofir Tyrus † ddeng-
lon we i mlynedd a thrugain, megis dyddiau un brenin:
cwymp Tyrus ym mhen y deng-mhlynedd a thrugain y cân
Ier. 29, 10 Sal. 90, 10 Tyrus megis puttain.

16 r Cymmer y delyn, amgylchyna'r ddinas r Dat. 18, 5
buttain anghofiedic, cân gerdd yn dda, a dat-
can lawer fel i'th gofier.
17 s Ac ym mhen y deng-mhlynedd a thrug- s Hag. 2, 7
ain yr Arglwydd a ymwêl â Thyrus, a hi a Dat. 17
ddychwel at ei helw, ac a butteinia â holl
deyrnasoedd y byd ar wyneb y ddaiar.
18 t Yna y bydd ei marchnad ai helw yn gys- t Act. 8, 3
segredic i'r Arglwydd, ni's cedwir, ac ni's 1 Tim. 4, 8
cuddir, canys eiddo y rhai a drigant o flaen yr
Arglwydd fydd ei marsiandiaeth, i fwytta hyd
ddigon, ac yn wisc barhaus.

## PEN. XXIV.

*Cospedigaeth yr Arglwydd yn erbyn pechod: a llawenydd y ffyddloniaid wrth weled hynny.*

WELE u yr Arglwydd yn gwneuthur y u Dat. 6, 14
ddaiar yn wâg, ac yn ei difwyno hi, Mal. 4, 1
canys efe a ostwng ei hwyneb hi, ac a wascar Dan. 2, 35
ei thrigolion.
2 v Yna y bydd un fath y bobl a'r † offeiriad, y v Hos. 4, 9
gwas a'r meistr, y llaw-forwyn a'r feistres, y Pen. 2, 9 † Neu dywysog
prynudd a'r gwerthudd, yr hwn a roddo, ac a Dat. 19, 18
gymmero echwyn, yr hwn a dalo lôg, a'r hwn
ai cymmero ganddo.
3 Gan waghau y gwagheuir, a chan yspeilio'r
yspeilir y wlad, canys yr Arglwydd a lefarodd
hyn.
4 w Galarodd [a] diflannodd y tir, llescaodd w Rhuf. 8, 20
[a] dadwinodd y byd, dihoenodd pobl feilchion
y ddaiar.
5 x Y ddaiar hefyd a halogwyd tann ei phres- x Dat. 18, 3
swyl-wyr, canys tros heddasant gyfreithiau, Dat. 7, 5
newidiasant ddeddfau, diddymmasant y cyfam-
mod tragywyddol.
6 y Am hynny melldith a yssodd y tir, a'r rhai y Mal. 4, 6
oeddynt yn trigo ynddo a anrheithiwyd am hyn- Seph. 3, 15
ny: presswyl-wyr y tir a loscwyd, ac ychydig
ddynnion a weddillwyd.
7 z Pallodd y gwîn, llescaodd y win-wydden, z Ioel 1, 10 Sal. 104, 15
y rhai llawen o galon oll a riddfanasant.
8 a Darfu llawenydd y tympanau, peidiodd a Dat. 18, 22
trwst y gorfoledd-wyr, darfu hyfrydwch y delyn,
9 b Nid yssant wîn dan ganu, chwerw fydd b Deut. 5, 4, 7
diod gref i'r rhai ai hyfant hi. Dat. 8, 8
10 c Drylliwyd dinas gwagedd, caewyd pob c Dat. 18, 2
tŷ fel na ddeler i mewn. Ioan 10, 29
11 d [Y mae] llefain am y gwin yn yr heolydd, d Dat. 18, 10
tywyllodd pob llawenydd, hyfrydwch y tir a Amos 8, 3
fudodd ymmaith. Deut. 28, 47, 48
12 e Yn y ddinas y gadawyd anghyfannedd- e Sal. 107, 34
rwydd, ag anrhaith hefyd y dryllir y porth. Ier. 15, 9
13 Diau y bydd o fewn y tir yng-hanol y
bobloedd megis escydwad oliwydden, [ac] fel
grawn lloffa pan ddarfo cynhaiaf y gwin.
14 f Y rhai hyn a dderchafant eu llef, [ac] a f Dat. 11, 15
ganant: o'r gorllewyn y gorfoleddant o herwydd Sal. 72, 8

godidawgrwydd yr Arglwydd.
15 Am hynny gogoneddwch yr Arglwydd yn
y dyffrynoedd: ac enw Arglwydd Dduw
Israel yn ynysoedd y môr.
16 h O eithaf y ddaiar y clywsom ganiadau,
[fod] gogoniant i'r cyfiawn: yna y dywedais
O fyng-hulni, O fyng-hulni gwae fi, y rhai an-
ffyddlon a wnaethant yn anffyddlon, ie gwnae-
thant o'r fath anffyddlonaf.
17 Dychryn, a ffos, a magl [fyddant] i'th erbyn
breswylydd y tir.
18 i Felly 'r hwn a ffŷ rhag trwst y dychryn
a syrth yn y ffos, a'r hwn a gyfodo o ganol y
ffos a ddelir yn y fagl: o herwydd ffenestri yn
yr uchelder a agorwyd, a seiliau y ddaiar ydynt
yn crynu.
19 j Gan ddryllio 'r ymddrylliodd y tir gan
rwygo 'r ymrwygodd y ddaiar, gan symmud yr
ymsymmudodd y ddaiar.
20 k Y ddaiar gan symmud a ymsymmud fel
meddwyn, ac a ymsigla megis pabell, ai cham-
wedd fydd trwm arni, ac hi a syrth fel na chy-
fodo mwy.
21 l Yr amser hwnnw 'r ymwel yr Arglwydd
â llu 'r uchelder yn yr uchelder, ac â brenhin-
oedd y ddaiar ar y ddaiar.
22 m A chesclir hwynt yn gasclfa, wedi eu
rhwymo mewn daiar-dŷ, ac hwy a garcherir
mewn carchar, ac ym mhen llawer o ddyddiau
'r ymwelir â hwynt.
23 n Yna y lleuad a wrida, a'r haul a gywil-
yddia pan deyrnaso Arglwydd y lluoedd ym
mynydd Sïon, ac yn Ierusalem, ac o flaen ei
henuriaid [mewn] gogoniant.

## PEN. XXV.

*Moliant y ffyddloniaid o achos y llawenydd uchod.*

YR o Arglwydd fy Nuw [ydwyt] ti, derchafaf
di, [a] moliannaf dy enw, canys gwnaeth-
ost ryfeddod, [dy] gynghorion er ystalm [ydynt]
wirionedd [a] siccrwydd.
2 p Canys gosodaist ddinas yn garnedd, a
thref gadarn yn ddinistr, O ddinas nid adeiledir
byth dŷ dieithriaid.
3 q Am hynny pobl nerthol a'th ogoneddant,
dinasoedd cenhedloedd ofnadwy a'th arswydant
4 Canys buost nerth i'r tlawd, a chadernid
i'r anghenog, yn nodded rhag temestl, yn gys-
cod rhag gwres, pan [oedd] gwynt y cedyrn fel
llifeiriant [trwy] fagwyr.
5 Fel gwres mewn sychder y darostyngi
dwrwf dieithriaid: [fel] gwres mewn cyscod
cwmwl y darostyngir cangen y cedyrn.
6 r A gwnaiff Arglwydd y lluoedd i'r holl bob
lo[edd] yn y mynydd hwn wledd fras, [a] gwledd loiw
[o] basceddigion breision [a] gloiw-win puredic.
7 s Efe a ddifa yn y mynydd hwn y gorchudd
yr hwn sydd yn gorchguddio yr holl bobloedd,
a'r llenn yr hon a danwyd ar yr holl genhedl-
oedd.
8 t Efe a ddifa angeu tros byth, a'r Arglwydd
Dduw a sych ymmaith ddeigr oddi ar bob
wyneb: ac efe a dyn ymmaith warthrudd ei
bobl oddi ar yr holl ddaiar: canys yr Arglwydd
a lefarodd [hyn.]
9 u A'r dydd hwnnw y dywedi, wele dymma
ein Duw ni, gobeithiasom ynddo ef, ac efe a'n
ceidw: dymma'r Arglwydd, gobeithiasom yn-
ddo ef, gorfoleddwn, a llawenychwn, yn ei iech-
ydwriaeth ef.
10 v Canys llaw'r Arglwydd a orphwys yn y
mynydd hwn, a Moab a sethrir tano ef, fel sathru
gwellt mewn tommen.
11 w Ac efe a estyn ei ddwylo yn eu mysc
hwynt, fel yr estyn nofiedudd [ei ddwylo] i nofio,
ac efe a ostwng eu balchter hi â nerth ei ddwylo.
12 x Felly y gogwydda, y gostwng [ac] y
bwrw efe i lawr hyd y llwch gadernid uchelder
dy gaerau.

## PEN. XXVI.

*Cân o ddiolch am rhyddhad y bobl.*

Y y DYDD hwnnw y cenir y gân hon yn
nhir Iuda, Dinas gadarn [sydd] i ni, efe a
esyd iechydwriaeth yn gaerau ac yn rhacfur.
2 z Agorwch y pyrth fel y delo i mewn genhedl-
aeth gyfiawn, yr hon a geidw wirionedd.
3 a A meddwl dianwadal y cedwi dangnheddyf
heddychol, am ymddyried ynot.
4 b Ymddyriedwch yn yr Arglwydd byth: o
herwydd yn yr Arglwydd Dduw [y mae] cad-
ernid yn dragywydd.
5 Canys efe a ostwng bresswyl-wyr yr uchel-
der, tref uchel a ostwng efe: efe ai darostwng
hi i'r llawr, ac ai bwrw hi i'r llwch.
6 c Troed ai sathr hi, [sef] traed y trueniaid,
a chamrau y tlodion.
7 d Iniondeb [yw] llwybr y cyfiawn, yn iniawn
y cyfarwyddi ffordd y cyfiawn.
8 e [Ar] lwybr dy farnedigaeth hefyd i'th ddis-
gwiliasom Arglwydd, dymuniad [ein] henaid
[sydd] am dy enw, ac am dy goffadwriaeth.
9 f A'm henaid i'th ddymunais liw nos, a'm
hyspryd hefyd o'm mewn i'th foreu-geisiaf:
canys presswyl-wyr y byd a ddyscasant gyfiawn-
der, tra [ydoedd] dy farnedigaethau ar y ddaiar.
10 g [Er] trugarhau wrth yr annuwiol, ni ddysc-
odd gyfiawnder, yn nhir iniondeb y gwyra efe,
ac ni wel uchelder yr Arglwydd.
11 h Ni welant Arglwydd pan dderchafer
dy law, cânt weled, a chywilyddiant [ag] eid-
igedd [i'th] bobl: a thân dy elynnion ai hys-
hwynt.
12 i Arglwydd ti a drefni i ni heddwch, canys

gwnaethost i ni hefyd ein holl weithredoedd.
jGalar 5 8 Sal 73 25 13 [j] O Arglwydd ein Duw, meistred eraill heb dy law di a'n perchennogasant ni, yn unic trwot ti y coffawn dy enw.
kSal 6 12 Diar 10 7 14 [k] Y meirw ni byddant fyw, y meirw ni chyfodant, am hynny gofwyaist a difethaist hwynt, dinistraist hefyd bob coffa am danynt.
l Mat 28 19 15 [l] Chwanegaist ar y genedl [hon] O Arglwydd chwanegaist ar y genedl, ti a ymogoneddaist: helaethaist, holl gyrrau y tir.
m Hos 5 15 16 [m] Mewn adfyd Arglwydd yr ymwelsant â thi, tywalltasant weddi, pan [oedd] dy gospedigaeth arnynt.
n Act 14 22 Iago 1 2 17 [n] Fel y gofidia, [ac] y gwaedda [gwraig] feichiog dan ei gwewyr [pan] fyddo agos i escor: felly'r oeddem o'th flaen di Arglwydd.
oSal 69 3 Galar 3 8 18 [o] Beichiogasom, gofidiasom, fel pe escorem wynt: ni wnaed iechydwriaeth [i'r] ddaiar, a phresswyl-wyr y byd ni syrthiasant.
pEzec 37 11 14 Dan 12 2 Dat 11 11 19 [p] Dy feirw a fyddant byw, [fel] fyng horph i yr adgyfodant, deffroiwch, a chenwch presswylwyr y llwch: canys dy wlith [sydd fel] gwlith llysiau, a'r ddaiar a fwrw y meirw.
qMat 6 6 Dat 6 11 20 [q] Tyret fy mhobl, dos i'th stafelloedd, a chaea dy ddrws arnat: llecha megis ennyd awr hyd onid elo y llid heibio.
rIudas 14 Dat 18 24 21 [r] Canys wele'r Arglwydd yn dyfod allan oi fangre i ofwyo anwiredd presswyl-wyr y ddaiar yn eu herbyn: Yna y dadcuddia y ddaiar ei gwaed, ac ni chuddia hi mwyach ei lladdedigion.

## PEN. XXVII.

*Dialedd Duw i'w elynion: ai ymgeledd iw bobl.*

sDat 19 15 a 20 1 Y [s] DYDD hwnnw yr ymwel yr Arglwydd ai gleddyf caled, mawr a chadarn yn erbyn Lefiathan y sarth hir-braff, ïe yn erbyn Lefiathan y sarph dorchoc: ac efe a ladd y ddraig yr hon [sydd] yn y môr.
tSal 75 8 2 [t] Yn y dydd hwnnw [y ffynna] gwinllan y gwin coch: cenwch iddi.
uSal 121 4 Dat 22 1 Phil 2 13 3 [u] Myfi 'r Arglwydd ai ceidw, ar [bob] moment y dyfrhaf hi, cadwaf hi nos a dydd 'rhac ymweled â hi:
v2Sam 23 6 4 [v] Nid [oes] lidiawgrwydd ynof, pwy a osode fieri a drain yn fy erbyn mewn rhyfel? myfi a awn trwyddynt, mi ai lloscwn hwynt yng-hyd.
w1Cor 10 22 5 [w] Neu [pwy] a ymeifl a'm nerth i: gwnaed heddwch â mi, gwnaed heddwch â mi.
xEzec 35 10 Dan 2 35 6 [x] Efe a wna i hiliogaeth Iacob wreiddio, Israel a flodeua, ac a flaendardda, fel y llawnant wyneb y byd â chnwd.
y Hab 3 12 Sal 75 8 7 [y] A darawodd efe ef, fel y tarawyd yr hwn ai tarawse ef: a laddwyd ef fel lladdfa lladdedigion hwnnw:
z1Cor 10 13 Sal 78 38 8 [z] Wrth fesur y berni hon gan ei bwrw allan, efe a fwriodd ymmaith [y llall] ai wynt caled, ar ddydd dwyrein-wynt.
9 [a] Am hynny trwy hyn y maddeuir anwiredd Iacob, ac dymma 'r holl ffrwyth, tynnu ymmaith ei bechod: pan osodo efe holl gerric yr allor fel cerric calch briwedic, ni saif y llwyni na'r delwau. a1Cor 11 32 Hebr 12 10
10 Os amgen, y ddinas gadarn [fydd] unic, [fel] annedd wedi ei adel, ai wrthod megis yn anialwch, yno y pawr y llo, ac y gorwedd, ac y difa ei blagur hi.
11 [b] Pan wywo ei brig hi, hwynt a ddryllir, gwragedd a ddeuant, ac ai llosgant hi: canys nid pobl ddeallgar ydynt: am hynny 'r hwn ai gwnaeth ni thosturia wrthynt, a'r hwn ai lluniodd ni thrugarhâ wrthynt. bIsa 1 3 6 Mat 13 14 Ier 27 Luc 8 10 Act 28 Hebr 11
12 A'r dydd hwnnw y bydd i'r Arglwydd ddyrnu o gamlas yr afon [Euphrates] hyd afon yr Aipht: yna chwi meibion Israel a gesclir bob yn un.
13 [c] Ac yn y dydd hwnnw 'r udcenir âg udcorn mawr, yna y daw y rhai a ddifethwyd yn nhir Assyria, a'r rhai a wascarwyd yn nhir yr Aipht, ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd sanctaidd yn Ierusalem. cMat 24 31 Luc 4 18 Lef 25 9 Zech 8 Sal 119 176 Hosea 7 Zech 13 6

## PEN. XXVIII.

*Dialedd Duw ar Ephraim ac Iuda. 5 Duw yn coron Iuda: ac yn ei geryddu ef i wellhau.*

GWAE [d] goron balchder meddwon Ephraim: canys ardderchawgrwydd ei ogoniant ef [sydd] flodeun diflannedic yr hwn [sydd] ar benn dyffryn y breision, y rhai a orchfygwyd â gwin. dHos 5 5 Dat 17 Deut 32 15
2 [e] Wele [ddydd] grymmus a nerthol yr Arglwydd, fel llifeiriant cenllysc, [neu] gorwynt dinistriol, fel llifeiriant dyfroedd mawrion, yn llifo trosodd, yr hwn a fwrw i lawr drwy ei grytder. eEsa 8 Ezec 13 11
3 Tann draed y sethrir hwynt, [sef] coron balchter meddwon Ephraim.
4 [f] Ac ardderchawgrwydd ei ogoniant fydd blodeun diflannedic, yr hwn [fydd] ar ben dyffryn y breision: [bydd] megis ffigusen gynnar cyn yr haf, yr hon [pan] welo 'r hwn a edrycho arni, efe ai llyngc hi, ac hi etto yn ei law. fNe 3 12 Hos 9 10 Iob 8 12
5 [g] Yn y dydd hwnnw y bydd Arglwydd y lluoedd yn goron ardderchawgrwydd, ac yn goron gogoniant i weddill ei bobl. gEsa 4 2 Ier 17
6 [h] Ac yn yspryd barn, i'r hwn a eisteddo ar y farn, ac yn gadernid [i'r] rhai a ddychwelant y rhyfel i borth [y gelyn.] h1 Bren 3 28
7 [i] Ac er hynny hwynt a gyfeiliornasant drwy win, ac a ymryfusasant drwy ddiod gadarn: yr offeiriad a'r prophwyd a gyfeiliornasant drwy ddiod gadarn, difawyd hwy gan win, cyfeiliornasant trwy ddiod gadarn, amryfusasant mewn gweledigaeth, tramgwyddasant [mewn] barn. i Ier 5 Dat 9 Ier 5 31 Galar 3 14

8 Canys y byrddan oll a lanwyd [o]chwdfa [a]
bydreddi, heb le [glân.]
jIer. 6.10 9 j I bwy y dysc efe wybodaeth? ac i bwy y
1Cor. 14. pâr efe ddeall yr hyn a glywo? i'r rhai a ddidd-
20 Ier. 4,22 yfnwyd oddi wrth laeth, y rhai a dynnwyd oddi
wrth fronnau.
k2Tim. 3 10 k Canys [rhoddir] gorchymyn ar orchymyn,
7 Heb.5.12 gorchymyn ar orchymyn, llinin ar linin, llinin
2Cron.36 ar linin, ychydig ymma, [ac] ychydig accw.
15.16 l1Cor. 14 11 l Canys â bloescni tafod, ac â thafodiaith
21 Deut.28, ddieithr y lleferir wrth y bobl hyn.
29 Ier. 5, 15 12 m Y rhai y dywedodd efe wrthynt, Dymma
m Ier. 6, orphywysdra, gadewch i'r deffygiol orphywso,
16 Mat. 11, canys dymma esmwythder: ond ni fynnent
28 wrando,
nEzec 20 13 n Eithr bod gair yr Arglwydd iddynt yn
11 Mat. 21, orchymyn ar orchymyn, yn orchymyn ar orch-
44 ymyn, yn llinin ar linin, yn llinin ar linin: ych-
ydig ymma [ac] ychydig accw, fel yr elont ac y
syrthiont yn ol, fel y dryllier, ac y magler, ac y
dalier hwynt.
14 Am hynny gwrandewch air yr Arglwydd
ddynion gwatwarus: llywodraethwŷr y bobl
hyn y rhai [ydynt] yn Ierusalem.
o 1Bren. 15 o Canys dywedasoch, Gwnaethom ammod
21.20 2Thes. 2, ag angeu, ac a'r bedd y gwnaethom gyngrair:
9, 10, 11 pan ddel ffrywill lifeiriol ni ddaw attom ni:
canys gosodasom ein gobaith [ar] gelwydd, a
than ffalster y llechâsom.
pSal. 2.6 16 p Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd
Eph.2,20 Phil. 2,9 Dduw, Wele fi yn sylfaenu maen yn Sïon, [sef]
Sal. 112, congl-faen gwerth-fawr profedic,[sef]sylfaen saf-
7,8 adwy, ni fryssia'r hwn a gredo.
qDat.19, 17 q Yna gosodaf farn wrth linin, a chyfiawn-
2 der wrth bwys, y cenllysc a yscuba obaith cel-
wydd, a'r dyfroedd a foddant loches [ffalster.]
rDat. 14, 18 r Yna y diddymir eich ammod ag angeu,
20 a'ch cyngrair ag uffern ni saif, eithr pan ddel
ffrywill lifeiriol, byddwch sathrfa iddi.
19 O'r amser y delo y cymmer chwi, canys
daw bob boreu ddydd, a nos, a chyffro yn unic
fydd [i] beri deall yr hyn a glywir.
s Ier 7, 8 20 s Canys byrach yw'r gwely nag[y galler]ym-
1Tim.3,5 estyn[ynddo], cûl yw'r cwrlid pan gascler[tano.]
t2Sam.5, 21 t Canys yr Arglwydd a gyfyd megis yn
20 Ios.10,12 mynydd Perazim, efe a ddigia megis ynglynn
Dat. 14, Gibeon i wneuthur ei waith[sef]ei ddieithr-waith:
18 Galar. 3, i wneuthr ei weithred [sef] ei ddieithr weithred.
33 Ier 30,14 22 v Ac yn awr na siommwch eich hunain,
vSal. 66, rhag cadarnhau eich rhwymau: canys clywais
11 Lef. 26, [fod] darfodigaeth derfynol oddi wrth Arglwydd
23 Ier.25,45 Dduw y lluoedd ar yr holl dîr.
23 Clywch, a gwrandewch fy llais; ystyriwch
a gwrandewch fy lleferydd.
wSal.104 24 w Onid yw yr arddwr yn aredig ar hyd y
22 dydd? yn agorid, ac yn llyfnae i dir fel yr haeuo?

25 Onid pan lyfnhao ei wyneb, yna y tana efe
ffacpys, ac y gwascar gwmin, ac y gesyd wenith
ardderchawg, a haidd mesurol, a rhyg [yn] ei
gyfle?
26 Canys [Duw] ai hyfforddia ef mewn barn:
[ie] Duw ai dysc ef.
27 Canys nid ag ôg y dyrnir ffacpys, ac [ni]
throir olwyn menn ar gwmin: eithr dyrnir ffac-
pys â ffonn, a chwmin â gwialen.
28 x [Defnydd] bara a felir, ond gan ddyrnu ni xSal.103,
ddwrn y dyrn-wr ef yn wastadol, ac ni yssiga 9 Mica 4,
olwyn ei fen ef, ac nis mâl ef ai dannedd. 14
29 y Hyn hefyd a ddaeth oddi wrth Arglwydd y1Cor. 9,
y lluoedd: rhyfedd yw ei gyngor, mawr yw ei 3 Pen. 9, 6
ddoethineb. Iob 5, 11

## PEN. XXIX.

*Cospedigaeth Duw yn erbyn Ierusalem, am druth, rhagrith, ffuant, a gau grefydd y bobl.*

GWAE† Ariel, Ariel, y gaer y gwersyllodd †Llew Duw
Dafydd [ynddi:] chwanegwch flwyddyn Ezec.43,
at flwyddyn, ladder ŵyn. 15
2 z Etto mi a warchaeaf ar Ariel, fel y byddo z 2Bren.
galar, a gryddfan, ac y byddo hi i mi fel allor. 25, 9
3 Yna y gwerssyllaf yn grwn i'th erbyn, ac a
warchaeaf i'th erbyn [mewn] gwarch-dŵr, ac a
gyfodaf warch-glawdd yn dy erbyn.
4 Felly i'th ostyngir, o'r ddaiar y lleferi, ac o'r
llwch y bydd isel dy leferydd: dy lais fydd
hefyd o'r ddaiar, fel [llais] swyn-wr, a'th ymad-
rodd a ddrydar o'r llwch.
5 a A thyrfa dy ddieithriaid fydd fel llwch mân, a Sal. 18,
a thyrfa y cedyrn fel peiswyn yn myned heibio, 42
ac a dderfydd yn ddisymmwyth ddiattrec.
6 b Oddi wrth Arglwydd y lluoedd y gofwyir bDat 8,5
drwy daran, a thrwy grynfa, a thwrwf mawr, Sal. 11, 6
[trwy] gorwynt, a rhyferthwy, a fflam dân yssol. a 18, 7 Zec. 14,1
7 c Yna y bydd tyrfa'r holl genhedloedd y rhai cZec. 14,
a ryfelant yn erbyn Ariel, fel breuddwyd [neu] 1, 2, 3 Sal.37,20
weledigaeth nos, sef y rhai oll a ymladdant yn
ei herbyn hi, ai hamddeffynfa, ac a warchant
arni.
8 d Ië, bydd megis newynog yr hwn a freudd- dSal.73,
wydo, ac wele ef yn bwyta, a phan ddeffru 20
gwag fydd ei enaid: ac megis y sychedic yr hwn
a freuddwydo, ac wele ef yn yfed, a phan ddeffru
wele ef yn ddeffygiol, ai enaid yn chwennych
[diod:] felly y bydd tyrfa y rhai oll a ryfeddant
yn erbyn mynydd Sïon.
9 e Pwyllwch, a rhyfeddwch, bloeddwch, a eAct7,51
gwaeddwch, meddwasant, ac nid [trwy] win ym- Iago 5,5
siglasant, ac nid [trwy] ddiod gadarn.
10 f Canys tywalltodd yr Arglwydd arnoch fRhuf11
yspryd trym-gwsc, ac a gaeodd eich llygaid 8 Sal.69.22
chwi, eich prophwydi a'ch pennaethiaid creiffion gMat. 11
a orchuddiodd efe. 25 Mat 13, 11 a 16,17
11 g A gweledigaeth pob un [o honynt] fydd i Dat. 5, 1 Dan.12,9

chwi fel geiriau llyfr seliedic, yr hwn [os] rhodd-
ant ef at [un] a ſeidr [ar] y llyfr, gan ddywedyd,
Agor hwn attolwg: yna y dywed, Ni allaf,
canys seliwyd ef.
h Ioan 7, 15 12 h Os rhoddir y llyfr at yr hwn ni feidr [ar]
lyfr, gan ddywedyd, Darllen hwn attolwg: yna
y dywed, Ni ſedraf [ar] lyfr.
i Mat. 15, 8 13 i Dywedodd yr Arglwydd hefyd, O her-
Ezec. 33, 31 wydd nessau y bobl hyn ai genau, a'm anrhyd-
Col. 2, 22 eddu ai gwefusau, a phellhau eu calon oddi
wrthif, a bod eu parch hwynt arnafi wedi ei
ddyscu allan o athrawiaeth dynion,
j 1 Cor. 1, 19 14 j Am hynny wele fi yn gwneuthur yn rhyf-
Rhuf. 1, 21, 22 edd a'r bobl hyn [trwy] wrthiau a rhyfeddod,
canys difethir doethineb eu doethion hwynt, a
deall eu rhai deallgar hwynt a ymguddia.
k Dat. 2, 24 15 k Gwae y rhai a ymgyfrwysant i guddio [eu]
Sal. 94, 7 cyngor oddi wrth yr Arglwydd: ac y mae eu
gweithredoedd mewn tywyllwch, ac a ddywed-
ant, Pwy a'n gwel ni? a phwy a'n hedwyn?
l 1 Bren. 12, 26 16 l Onid fel clai crochenudd y cyfrifir eich
trofa chwi, canys a ddywed y gwaith am y
gweuthudd, Ni'm gwnaeth i? ac a ddywed y peth
a luniwyd am yr hwn ai lluniodd, Nid yw dde-
allus?
m Luc 18, 14 17 m Onid ychydig bach fydd ettohyd oni throir
Mat. 8, 11 Libanus yn ddol-dir, a'r dol-dir a gyfrifir yn goed,
n Luc 4, 18 18 n Ar dydd hwnnw y rhai byddar a glywant
Mat. 11, 5 eiriau llyfr, a llygaid y deillion a welant o gwm-
mwl, a thywyllwch.
o 1 Cor. 1, 27 19 o Yna 'r trueniaid a chwanegant lawenychu
yn yr Arglwydd: a'r dynnion tlodion a ymhyf-
rydant yn Sanct Israel.
p Dat. 13, 12 20 p Pan ddarfyddo y cadarn, a phallu y gwat-
Marc 5, 2 warus, yna y diwreiddir y rhai oll a wiliant an-
Sal. 10, 9 wiredd,
q Mat. 22, 15 21 q Y rhai a wnant i ddyn bechu mewn gair,
Amos 5, 10 ac a osodant faglau yn y porth i'r hwn [ai] cer-
yddo, ac a wnant i'r cyfiawn wyro trwy goegni.
r Ios. 24, 2 22 r Am hynny fel hyn y dywedodd yr Ar-
Ioan 2, 28 glwydd (yr hwn a waredodd Abraham) am dŷ
Iacob, Weithian ni chywilyddir Iacob, ac ni lassâ
ei wyneb ef.
s 1 Cor. 4, 15 23 s Eithr pan welo efe ei feibion, gwaith fy
Eph. 2, 10 nwylo man fi oi fewn, y sancteiddiant fy enw, ïe
sancteiddiant Sanct Iacob, ac ofnant Dduw
Israel.
t Luc 15, 28 24 t Yna y rhai cyfeiliornus o yspryd a fed-
Act. 2, 36 rant ddeall, a'r grwgnach-wyr a ddyscant ath-
1 Tim. 1, 13 rawiaeth.

## PEN. XXX.

*Duw yn bygwth y rhai oeddynt gyndyn yn Juda: ac er a ddwedyd wrthynt a ſynnent ſyned i'r Aipht.*

u Diar. 3, 7 a 21, 30 GWAE u 'r meibion a gildynnant medd yr
Ezec. 17, 13 Arglwydd i wneuthur cyngor, a [hwnnw]
Ios. 9, 14 nid o honofi: ac i geisio cymmorth, a [hwnnw]
nid o'r yspryd man fi, er mwyn chwanegu pech-
od ar bechod:
2 Y rhai sydd yn myned i ddescyn i'r Aipht,
heb ymofyn a mi, gan ymnerthu yn nerth Pharao,
ac ymddyried yng-hyscod yr Aipht.
3 v Canys nerth Pharao fydd yn gywilydd i v Ier. 17, 5
chwi, a'r ymddiried yng-hyscod yr Aipht yn Pen. 20, 5
wradwydd.
4 Canys bu ei dywysogion yn Zoan, ai gen-
nadau a ddaethant i Hanes.
5 w Pob un a gywilyddir o herwydd y bobl, w Dat. 3, 10
ni fuddiant iddynt, ni [byddant] yn gynnorth-
wy nac yn llesad, eithr yn warth, ac yn wrad-
wydd.
6 x Baich anifeiliaid y dehau: mewn tir cys- x Ex. 1, 11
tudd, ac ing, [lle y daw] o honynt yr hen lew,
a'r llew ieuangc, y wiber, a'r sarph danllyd [yn
erbyn y rhai] a ddygant eu golud ar gefnau as-
synnod, ai tryssorau ar gefnau eu camelod, at
bobl ni wnant les.
7 y Canys diwin yw yr Aiphtiaid, ac yn ofer y Ier. 37, 7
y cynnorthwyant, am hynny y llefais ar hon, eu Hos. 5, 13
nerth hwynt [yw] aros yn llonydd.
8 Dos yn awr, scrifenna hyn mewn llech
iddynt, ïe scrifenna ef mewn llyfr, ac efe fydd
hyd y dydd diweddaf, yn oes oesoedd.
9 z Canys dymma bobl wrthryfelgar, plant cel- z Act. 7, 51
wyddoc, plant ni fynnant wrando cyfraith yr Ioan 8, 44
Arglwydd.
10 a Y rhai a ddywedasant wrth y rhai a wel- a Mica 2, 6
ant, Na welwch, ac wrth y rhai a ganfyddant, Ier. 11, 21 a 5, 31
Na chanfyddwch i ni gymmwysdra: treuthwch 1 Bren. 22, 6
i ni weniaith, canfyddwch i ni siomedigaeth. 2 Pedr 2, 19
11 b Ciliwch o'r ffordd, ciliwch o'r llwybr, Eph. 4, 14
perwch i Sanct Israel beidio â ni: 1 Tim. 4, 1
12 Am hynny, fel hyn y dywed Sanct Israel, 2 Dat. 2, 2
Am wrthod o honoch y gair hwn, ac ymddiried o b Act. 13, 8
honoch mewn twyll, a cham, a phwyso a'r hynny:
13 Am hynny y bydd yr anwiredd hyn i chwi
fel rhwygiad chwyddedic mewn mur uchel ar
syrthio: yr hon y daw ei dryllhad yn ddisym-
mwth heb attrec.
14 c Canys efe ai dryllia hi, fel dryllio stên c Ezec. 3, 5
crochenydd, gan guro heb arbed, fel na chaffer Pen. 47, 14
ym mysc ei darnau gragen i gymmeryd tân o'r
aelwyd, nac i dynnu dwfr o'r ffos.
15 d Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd d Rhuf. 5, 5
Dduw Sanct Israel, Drwy orphywysdra a llon- Mat. 23, 37
yddwch, y byddwch gadwedic, mewn llonydd-
wch, a gobaith y bydd eich cadernid: ond ni
ſynnech:
16 e Eithr dywedasoch, Nid [felly,] canys ffoiwn e Ier. 42, 16
ar feirch, am hynny y ffoiwch: A marchogwn ar
[feirch] buain, am hynny y bydd ysgafnach y

PEN. XXX. Adn. 6.] SARPH DANLLYD. Antorient eu bywyd trwy goedyd Arabia, i geisio help o'r Aipht: ond ni cheisient Dduw yn ei Deml, er eu cymmell! adn. 2.

rhai a'ch erlidio,
Deut.32, 30 Lef. 26,8 17 [f] Mil [a ffoant] rhac ofn un, a rhac ofn
pump y ffoiwch hyd oni i'ch gadawer, megis
hwyl-bren ar benn mynydd, ac fel baner ar
frynn.
2 Pedr 3, 9 Hab. 3,1 Rhuf.5,3 Ier. 7,7 18 [g] Ac am hynny y disgwil yr Arglwydd am
drigarhau wrthych, ïe am hynny'r ymdderchyf
i dostirio wrthych: canys Duw cyfiawn [yw'r]
Arglwydd, gwyn eu byd y rhai oll a obeithiant
ynddo.
Ezec. 0, 40 36, 37 19 [h] Canys pobl a drig yn Sïon o fewn Ieru-
salem: gan ŵylo nid ŵyli, gan drugarhau efe a
a drugarha wrthit, pan wrandawo efe ar lef dy
waedd, efe a'th atteb di,
Sal.127, a 74, 9 Amos 8, 12 20 [i] A'r Arglwydd a rydd i chwi fara ing, a
dwfr gorthrymder, ond ni chornelir dy athraw-
on mwy, eithr dy lygaid fyddant yn gweled dy
athrawon.
Ioan 2, 21 [j] A'th glustiau a glywant y gair o'th ol yn
Mal. 1,6 dywedyd, Dymma'r ffordd, rhodiwch ynddi, pan
bwysoch ar y llaw ddehau, neu pan bwysoch
ar y llaw asswy.
Dat.18, 22 [k] Yna'r halogwch ball dy gerf-ddelw arian,
Eza.14,8 ac Ephod dy dawdd-ddelw aur, gwasceri
hwynt fel mis-glwyf, a dywedi wrthynt, Dos
ymmaith.
Tim. 4, 23 [l] Ac efe a rydd law i'th hâd, pan hauech dy
t.6,33 dir, a bara cnwd y ddaiar fydd yna'n dew, ac yn
9,9 fras, a'r dydd hwnnw y pawr dy anifeiliad bor-
56,6 fa helaeth.
Tim. 7 24 [m] Dy ychen hefyd a'th assynod, y rhai a
if. 8, lafuriant y tir a borant ebran pur, yr hwn a
nithiwyd â gwintill ac â gogr.
t 14, 0. a 7, 13 25 [n] Bydd hefyd ar bob mynydd uchel, ac ar
bob bryn derchafedic ffrydau dyfroedd yn afon-
c.59, 0 ydd yn nydd y lladdfa fawr, pan syrthio yr tŷrau.
t.17, 26 [o] A bydd llewyrch y lleuad fel llewyrch yr
haul, a llewyrch yr haul fydd saith mwy, megis
llewyrch saith niwrnod: yn y dydd y rhwyma
yr Arglwydd friw ei bobl, ac yr iachâ archoll
eu dyrnod hwynt.
c 19, 27 [p] Wele enw'r Arglwydd yn dyfod o bell, ei
ddigofaint ef sydd yn llosci, ai losciad sydd
s. 1, drwm: ei wefusau a lawnwyd o ddigter, ai da-
19 15 fod [sydd] megis tân yssol.
es.2 28 [q] Ei ysbryd hefyd [sydd] megis afon lif-
eiriol [yr hon] a gyredd hyd y gwddf, i nithio y
cenhedloedd â gogr oferedd, ac yn ffrwyn yng-
enau'r bobloedd yn gyrru ar gyfeiliorni.
.11, 29 [r] Y gân fydd gennych megis y noswaith yr
ymsancteiddir [i'r] uchel-ŵyl, a llawenydd cal
on megis yr hwn elo â phibell i fyned i fynydd
yr Arglwydd at gadarn yr Israel.
0.3 0,11 16, 30 [s] A'r Arglwydd a wna glywed arddercha-
awgrwydd ei lais, ac a ddengys ddescynniad ei
fraich mewn digter llidioc a fflam dân yssol, a
gwascariaeth, ac â chorwynt, ac â cherrig cen-
llysc.
31 [u] Canys â llais yr Arglwydd y destruwir uMica 5, 5
Assur [yr hwn] a darawe a'r wialen.
32 [v] A pha le bynnac yr elo efe, y wialen a ym- vZec 9,1 Dat. 19,
lyn [wrtho ef,] yr hon a esyd yr Arglwydd ar- 1, 2
no ef, gyd â thympanau, â thelynau: ac â rhyfel
tost yr ymladd efe yn ei erbyn.
33 [w] Canys darparwyd uffern er doe, ïe parat- wIos 1,18 Dat. 11,
toiwyd hi i'r brenin, efe ai dyfnhaodd hi, [ac] ai 10
ehangodd [hi,] ei chynneuad [sydd] dân a choed
lawer, anadl yr Arglwydd megis afon o frwm-
stan sydd yn ei henyn hi.

## PEN. XXXI.

*Melldith i'r rhai a elent i'r Aipht, ac a obeithient i ddim ond Duw. 5 Addewidion Duw i'r edifeiriol.*

GWAE [x] y rhai a ddisgynnant i'r Aipht am xDeut.17 16
gynnorthwy, ac a ymddiriedant mewn 2 Bren.18 21
meirch, ac a ymhyderant mewn cerbydau am Hos. 7, 7
eu [bod] yn aml, ac mewn gwŷr meirch am eu Dan.9,13
bod yn nerthol iawn: ond nid edrychasant am
Sanct Israel, ac ni cheisiasant yr Arglwydd.
2 [y] Etto y mae efe yn ddoeth, ac a ddaw â chos- yIudas 2 1Tim. 1,
pedigaeth, ac ni chilia [oddi wrth] ei air, eithr 17
cyfyd yn erbyn tŷ y rhai drygionus, ac yn er- Zec. 1, 5 2Tim. 2,
byn cynnorthwy y rhai a weithredant anwir- 12, 13
edd.
3 [z] Yr Aiphtiaid hefyd [ydynt] ddynion, ac zSal.146, 3, 4
nid Duw, ai meirch yn gig, ac nid yn yspryd: Sal.115,2
pan estynno'r Arglwydd ei law, yna y syrth y 1Cor. 4,7
cynnorthwywr, ac y cwymp y cynnorthwyedic,
a hwynt oll a gyd-ddarfyddant.
4 [a] Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, aIer.2,15
wrthif, Megis y rhua hen lew, a'r llew ieuangc Obad. 21
ar ei sclyfaeth, yr hwn er galw llawer bugail yn
ei erbyn, ni ddychryn rhac eu llef hwynt, ac nid
ymostwng er eu twrwf hwynt: felly y descyn
Arglwydd y lluoedd i ryfela tros fynydd Sïon,
a thros ei brynn hi.
5 [b] Megis adar yn ehedec, felly'r ymascell a bMat.23, 37
Arglwydd y lluoedd tros Ierusalem, gan ddef- Zec. 2, 5
byn a gwared, gan bassio heibio, ac achub.
6 [c] Dychwelwch at yr hwn y llwyr giliodd c Act. 2, 37
meibion Israel [oddi wrtho.] Amos 4,4
7 O herwydd yn y dydd hwnnw, gwrthodant
bob un ei eulynnod arian, ai eulynnod aur, y
rhai a wnaeth eich dwylo eich hun yn bechod i
chwi.
8 Ac Assur a syrth nid trwy gleddyf gŵr,
eithr cleddyf nid dynawl ai difa ef: ac efe a ffŷ
rhac y cleddyf, ai wŷr ieuaingc a fyddant tann
drêth.
9 [d] Ac efe aiff i'w graig rhac ofn, ai dywysog- dMal 4,1 a 3, 2, 3
ion a ofnant rhac y faner, medd yr Arglwydd,
yr hwn y mae ei dân yn Sïon, ai ffwrn yn Ieru-
salem.

## PEN. XXXII.

*Brenhiniaeth Crist ai lywodraeth.*

eDan.7,14 WELE e brenin a deyrnasa mewn cyf-
Hos.3,15 iawnder, a thywysogion a flaenorant
Dat.3,21 Sal.45,16 mewn barn.
f Ioan 7,37 2 f A'r gŵr [hwnnw] fydd megis yn ymguddfa
[rhac] gwynt, a lloches [rhac] llifeiriant, megis
afonydd dyfroedd mewn sychder, megis cyscod
craig fawr mewn tir sychedic.
gMat.13,11 3 g Yna llygaid y rhai a welant ni chaeir, a
chlustiau y rhai a glywant a wrandawant.
4 Calon hefyd y rhai ehud a ddeall wybod-
aeth, a thafod y rhai bloesc a bryssura draethu
[geiriau] eglur.
hMal.3,18 5 h Ni elwir mwy'r ynfyd yn fonheddig, ac ni
Sal.15,4 ddywedir am y cybudd, Hael [yw.]
iDat.22,11 6 i Canys yr ynfyd a draetha ynfydrwydd, ai
Luc11 52 galon a wnaiff anwiredd, gan ragrithio, a chan
draethu cabledd yn erbyn yr Arglwydd: gan
ddiddymmu enaid y newynog, a chan dynnu
ymmaith ddiod y sychedic.
j Mat.15,19 7 j Arfau y cubydd [ydynt] annuwiol, efe a
ddychymmyga ddichellion i ddifwyno y truen-
iaid trwy ymadroddion gau: ac i draethu [yn
erbyn] y tlawd mewn barn.
kMat.12,35 8 k Felly yr hael a ddychymmyg haelioni: ac
2Cor.9 9 ar haelioni y saif efe.
lDeut.28,30 9 l Cyfodwch wragedd difraw, clywch fy llais,
Amos6,1 gwrandewch fy ymadrodd ferched diofal.
m Hos.2,6 10 m Dyddiau gyd â blwyddyn y trallodir
chwi wragedd difraw, canys darfu y cynhaiaf
gwîn, [ac] ni ddaw cynnull [mwyach.]
11 Ofnwch rai difraw, dychrynnwch rai diofal,
ymddiosc, ac ymnoetha, ymwregysa hefyd am
dy lwyni.
nGalar.2,11a 4 34 12 n Galaru y maent am y tethau, am feusydd
hyfryd, win-wydden ffrwythlon,
oSal.107,34 13 o Cyfyd drain, a mieri ar dir fy mhobl, ïe ar
bob ty llawenydd [a] dinas hyfryd.
p 2 Bren 25 9 14 p Canys y palas a ddinistrir, lluosogrwydd
y ddinas a adewir, yr amddeffynfa, a'r tŵr fydd-
ant yn ogfeudd hyd byth, yn hyfrydwch assyn-
nod gwylltion, [ac] yn borfa diadellau [defaid.]
qIoel2 28 15 q Hyd oni thywallter arnom ysbryd o'r uch-
Ioan14 26 Luc24 49 elder, a bod yr anialwch yn ddol-dir, a chyfrif
Act 1 33 Eph 4 11 y dol-dir yn goed-tir,
r Sal.94,15 16 r Yna y trig barn yn yr anialwch, a chyf-
iawnder a erys yn y dol-dir.
sRhuf.14,17 17 s A gwaith cyfiawnder fydd heddwch, ie
1 Pedr 3,15 gweithred cyfiawnder [fydd] llonyddwch a diog-
elwch hyd byth.
t Mat.16,18 18 t Canys fy mhobl a drig mewn presswylfa
heddychlon, ac mewn anneddau diogel, ac mewn
gorphywystra llonydd.
u Dat.16,21 19 u Yna y bydd cenllysc yn descyn [ar] y
coed, a'r ddinas fydd issel mewn gwastad.
20 v Gwyn eich byd y rhai a hauwch ger llaw vMat13 8
pob dyfroedd, y rhai a yrrwch yr ŷch a'r assyn Preg11 1 1Cor 9 9
[yno.]

## PEN. XXXIII.

*Dialedd Duw ar yr Assyriaid: Ai ymgeledd iw ffyddloniaid.*

GWAE w [di] anrheithiwr, a thi heb dy an- w Dat13 7 a 18 7
rheithio, a [thi] anffyddlon, er na wnaed Sal 18 25
yn anffyddlon â thi: pan ddarffo it anrheithio Mat7 2
i'th anrheithir, a phan ddarffo it fod yn anffydd-
lon y byddant anffyddlon i ti.
2 x Arglwydd trugarha wrthym, ynot y gobeith- x Heb 9
iasom, bydd fraich iddynt yn foreu, a'n iechyd-
wriaeth ninneu yn amser cystudd.
3 y Wrth lais y twrwf y gwibiodd y bobl, wrth yDan 8
ymdderchafu o honot y gwasgarwyd y cenhedl- Dat 5
oedd.
4 A'ch yspail a gynhullir [fel] cynhulliad lo-
cust; fel mynediad celiogod rhedyn [y byddir]
yn myned yn ei erbyn ef.
5 z Derchafwyd yr Arglwydd, canys presswy- z Dat11 15
lio y mae yn yr uchelder: efe a lawnodd Sïon o Sal 95 4
farn a chyfiawnder.
6 a Efe fydd sicrwydd dy amser, nerth, iechyd- a Col 1 9
wriaeth, doethineb, a gwybodaeth: ofn yr Ar- 2Bren 19 3
glwydd fydd ei dryssor ef.
7 Wele eu rhai gorchestol a waeddasant oddi
allan, cenhadon heddwch a wylasant yn chwerw.
8 b Anrheithiwyd y pryffyrdd, darfu cynni- b 2 Bren 18 14
werydd llwybr, diddymmodd gyfammod, diys- 2Cron 32 1
tyrodd ddinasoedd, ni wnaeth gyfrif o ddynion.
9 c Galarodd [a] llescaodd y ddaiar, cywilydd- c Bar 8
iodd Libanus [a] thorrwyd ef: Saron aeth 20
megis anialwch, escydwyd Baasan hefyd a
Charmel.
10 d Cyfodaf yn awr medd yr Arglwydd ym- d Sal 12 5
dderchafaf weithian, ymgodaf bellach. a 18 13
11 e Chwi a escorwch ar us, [ac] a ymddygwch e Sal 7 14
sofl, eich yspryd [fel] tân a'ch yssa chwi. a 7 16
12 f A'r bobloedd fyddant [fel] odynau calch, f Dat 19 20
[fel] drain wedi eu torri y lloscir hwynt yn tân.
13 Gwrandewch belledigion yr hyn a wneuth-
um, a gwybyddwch gymmydogion fy nerth
mau fi.
14 g Pechaduriaid a ofnasant yn Sïon, dychryn g 2 Bren 18 37
a ddaliodd y rhagrithwyr: pwy o honom [medd- Job15 28
ant] a drig [wrth] dân yssol? pwy o honom a Sal 1 4 Mat 13
bresswylia [wrth] loscfeudd tragwyddol. 38 Heb 12
15 h Yr hwn a rodio [mewn] cyfiawnder, ac a 29 h Sal 15
draetha iniondeb, a wrthid elw twyllodrus, a es- a 119 1
cydwo ei law rhac derbyn gobrwy, a gaëo ei
glust rhac clywed celanedd, ac a gaeo ei ly-
gaid rhac edrych ar ddrygioni,
16 i Efe a breswylia'r uchelder, cestyll y crei- i Mat7 24
gian fydd ei amddeffynfa ef: ei fara a roddir
iddo, ei ddwfr [fydd] siccr.
17 j Dy lygaid a welant y brenin yn ei deg- j 1 Ioan 3 2 Dat 19

wch: gwelant dir pell.
k 1 Cor. 1 18 [k] Dy galon a fefyria ofn, pa le [y mae'r]
20 scrifennudd? pa le [y mae] y pwysudd, pa le
[y mae] rhifudd y tyrau?
19 Ni chei weled pobl greulon, pobl ddieithr-
iaith fel na's dealler, [neu] floesg dafod heb ei
ddirnad.
l Sal 48,12 20 [l] Gwel Sïon dinas ein cyfarfod, dy lygaid
Mat 16 18 a welant Ierusalem, y breswylfa lonydd, y
Ioan17,12 babell ni thynnir i lawr, [ac] ni syfl ei hoelion
byth, ai rhaffau oll ni ddrylliant.
m Sal. 46, 21 [m] Eithr yr Arglwydd ardderchawg [fydd]
6 Dat. 21,1 yno i ni yn fangre afonydd [neu] ffrydau ymyl
lydain: y rhwyf-long nid aiff trwyddo, a llong
odidawg nid aiff trostaw.
n Iago 4. 22 [n] Canys yr Arglwydd [yw] ein barn-wr, yr
12 Heb. 10, Arglwydd [yw] ein deddf-wr, yr Arglwydd
16 Mat. 1,21 [yw] ein brenin, efe a'n ceidw.
o Dat. 19, 23 [o] Gollyngasant dy raffau, ni chadarnhau-
8 Sal.68,12 sant yr hwyl-bren yn iawn, ni thanasant yr
hwyl, rhannwyd yn awr sclyfaeth yspail fawr:
y cloffion a sclyfaethasant yr sclyfaeth.
p Dat. 22, 24 [p] Ac na ddyweded y presswylydd, Clâf
Ier.50,20 ydwyf: maddeuwyd anwiredd y bobl a drigant
ynddi.

## PEN. XXXIV.

*Amryw ddialeddau Duw yn erbyn pechaduriaid.*

q Deut.4, NESSEWCH [q] genhedloedd i glywed, a
26 gwrandewch bobloedd: gwrandawed y
ddaiar ac y sydd ynddi, y byd ai holl gnwd.
r Ier.25, 2 [r] Canys llidiawgrwydd yr Arglwydd sydd
5 Dat.14 18 yn erbyn yr holl genhedloedd, ai sorriant yn
3,18 Dat. 18,2 erbyn eu holl lu hwynt: difrododd hwynt
rhoddes hwynt i'r lladdedigaeth.
Dat.19, 3 [s] Ai lladdedigion a fwrir allan, a drewiant
eu celanedd a gyfyd i fynu, y mynyddoedd
hefyd a ffrydiant oi gwaed hwynt.
Pedr3, 4 [t] Holl lu y nefoedd hefyd a doddant, a'r
Dat.6,13 nefoedd a blygir fel llyfr: ai holl lu a syrth, fel
y syrthie deilen o'r win-wydden, ac fel y syrth-
ie hi o'r ffigus-bren.
Deut32 5 [u] Canys fyng-hleddyf a drochir yn y nef-
r.46,10 oedd, wele ar Edom y descyn i farn, ac ar y
Sal. 1,2 bobl y rhai a escymmunais.
Pedr 2, 6 [v] Cleddyf yr Arglwydd a lawnwyd o waed
Dat. 19, tewhäodd o fraster, [sef] o waed ŵyn a bychod,
r.49,13 o fraster arennau hyrddod: canys [bydd] i'r
Arglwydd aberth yn Bozra, a lladdfa fawr yn
nhir Edom.
Sal. 22, 7 [w] Yna y descyn yr unicorniaid gyd â hwynt,
Dat.19,19 a'r bustych gyd â'r teirw, ai tir hwynt a feddwa
Hab. 2, oi gwaed hwynt, ai llwch fydd tew o fraster.
an.12,9 8 [x] Canys diwrnod dialeddiad yr Arglwydd,
at 11,2 blwyddyn taledigaeth yn achos Sïon [yw.]
r.51 35 9 [y] Yna y troir ei hafonydd hi'n bŷg, ai llwch
nc 18,7 Gen. 19 yn frwmstan, ai daiar yn bŷg lloscedic.

10 Nis diffoddir nos na dydd, ei mwg a ddring
byth, o genhedlaeth i genhedlaeth y difethir
hi, ni [bydd] cynniwerydd trwyddi byth byth-
oedd.
11 [z] Y Pelican hefyd a'r draenoc ai gorescyn, z Mal.1,4
y ddylluan a'r gigfran a drigant ynddi, ac efe a
estyn arni linin aflunjaidd-dra, a meini gwagedd.
12 Ei † phendefigion a alwant, ac nid oes yno † Heb. eu rhai
frenhiniaeth, ai holl dywysogion hi ydynt ddi- gwynion Preg. 10,
ddym. 17
13 [a] Cyfyd hefyd [yn] ei phalasau ddrain, da- a Seph. 3,
nadl, ac yscall yn ei cheyrydd, ac hi a fydd yn 9
drigfa dreigiau, yn gyntedd i gywion yr estris.
14 Yno yr anifeiliaid gwylltion a'r cathod a
ymgyfarfyddant, yr ellill a eilw ar ei gyfaill, yr
ŵyll a orphywys yno hefyd, ac a gaiff orphywys-
tra iddi.
15 Yno y nytha y ddylluan, ac y dodwa, ac y
dehora, ac a gascl yn ei chyscod, y fulturiaid a
ymgasclant yno hefyd, pob un at ei gymmar.
16 [b] Ceisiwch o lyfr yr Arglwydd, a darllen- b Mal.3,
wch, ni phalla un o hyn, ni bydd un yn eisieu 16 Pen. 65,7
i'r llall, canys ei enau ef a orchymynnodd, ai 8 Gen.2,19
yspryd ef ai casclodd hwynt. a 7, 9
17 [c] Efe hefyd a fwriodd y coel-bren iddynt, c Sal.16,5
ai law ef ai rhannodd hi iddynt wrth linin: Act. 17, 26
meddiannant hi hyd byth, a phresswyliant hi o
genhedlaeth i genhedlaeth.

## PEN. XXXV.

*Godidawgrwydd brenhiniaeth Crist, a llawenydd y ffyddloniaid wrth ystyried hynny.*

YR [d] anialwch, a'r gwylltineb a lawenych- d Sal. 72,
ant o hyn, y diffaethwch hefyd a orfol- 9,10,11,
edda, ac a flodeua fel rhossyn.
2 [e] Gan flodeuo y blodeua, ac y llawenycha e Sal. 102,
hefyd â llawenydd ac â chân: gogoniant Li- 16 Dat. 18,2
banus a roddir iddo, [a] godidogrwydd Carmel
a Saron: hwynt a welant ogoniant yr Ar-
glwydd [a] godidogrwydd ein Duw ni.
3 [f] Cadarnhewch y dwylo llesc, a chryfhewch f Heb.12,
y gliniau gweiniaid. 13
4 [g] Dywedwch wrth y rhai gwan galon, Ym- g Mat. 1,
gryfhewch, nac ofnwch, wele eich Duw chwi a 21
ddaw â dial, cewch weled taledigaeth Duw, efe
a ddaw, ac a'ch achub chwi.
5 [h] Yna'r agorir llygaid y deillion, a chlustiau h Act.26,
y byddarion a ymagorant. 18 2Cor. 4 6
6 [i] Yna y llamma y cloff fel hŷdd, ac y cân Iob 33,16 Rhuf.15,
tafod y mudan, am dorri dyfroedd allan yn yr 18 i Luc1,46
anialwch, ac afonydd yn y diffaethwch. Col. 3,16 Ioan 7,38
7 [j] Y cras-dir hefyd fydd yn llynn, a'r tir sych- j Sal. 72,9
edic yn ffynhonnau dyfroedd, yn nhrigfa y dreig-
iau ai gorweddfa [y bydd] cyfle corsennau a
brwyn. k Dat.21,
8 [k] Yna y bydd sarn, a ffordd, ffordd sanct- 27 1 Ioan 2,
aidd hefyd y gelwir hi, yr halogedic ni's cynni- 20 Sal. 25, 8

wer hi, canys hyn [fydd] eiddynt hwy: a rodio'r
ffordd pe [byddent] ynfydion, ni chyfeiliornant.
l1Pedr5, 9 l Ni bydd ynolew, bwyst-fil gormesol hefyd
8 Dat.20,1 ni ddring iddi, ac ni's ceir yno, eithr y rhai gwared-
edig a rodiant [yno.]
mDat 17, 10 m Sef gwaredigion yr Arglwydd a ddych-
14 welant, ac a ddeuant i Sïon â chanmoliaeth, ac
â llawenydd tragwyddol yn eu penn: goddi-
weddant lawenydd, ac hyfrydwch, cystudd
hefyd a galar a ffoant ymmaith.

## PEN. XXXVI.

*Senacherib yn anfon Rabsaceh i warche ar Ierusalem. 15 Ei gabledd yntef yn erbyn Duw.*

n 2Bren. A C n yn y bedwaredd flwyddyn ar ddec i'r
18 4 Ier. 6, 28 brenin Hezecia y daeth Senacherib brenin
Assyria i fynu yn erbyn holl gaeroc ddinasoedd
Iuda, ac ai gorescynnodd hwynt.
o 2Cron. 2 o Yna brenin Assyria a anfonodd Rabsaceh
32, 9 o Lachis tu ag Ierusalem at y brenin Hezecia â
‡ Heb. trwm llu ‡ dirfawr, ac efe a safodd wrth aber y llynn
2Bren.18 uchaf yn llwybr maes y pann-wr.
4 3 Ac aeth atto ef Eliacim mab Helcia, yr hwn
[oedd] ben-teulu, a Sobna yr scrifennudd, ac
Ioah mab Asaph y cofiadur.
p Act.12, 4 p A dywedodd Rabsaceh wrthynt, Dywed-
22, 23 Sal. 69,4 wch yn awr wrth Hezecia: Fel hyn y dywed
Neh.2,19 y brenin mawr [sef] brenin Assyria, Pa hyder
[yw] hwn, yr hwn yr ymddyriedaist [ynddo?]
q Ezra 4, 5 q Dywedais yn ddiau, [Coelio'r wyt] i eiriau
19 Act. 5,29 ofer, cyngor a nerth [sydd raid] i ryfel: ar bwy
attolwg yr hyderaist, pan wrthryfelaist i'm her-
byn?
r Ier. 17,5 6 r Wele hyderaist ar y ffon gorsen ddrylliedic
honno, [sef] ar yr Aipht, yr hon pwy bynnac
a bwyso arni, yna hi a aiff i gledr ei law ef, ac
a dylla trwyddi: felly [y mae] Pharao brenin
yr Aipht i bawb a hyderant arno.
s 2Bren. 7 s Ac os dywedi wrthif, Yn yr Arglwydd ein
18 4 Ioan 4,22 Duw'r ydym yn ymddiried, onid efe [yw] 'r
Deut.12, hwn a ddarfu i Hezecia dynnu i lawr ei uchel-
8 feudd ai allorau, ac a ddywedodd wrth Iuda, ac
Ierusalem, O flaen yr allor hon yr addolwch
chwi?
t Sal. 20,7 8 t Ac yn awr dod wystl attolwg i'm harglwydd,
Neh. 4, 2 1Sam.17, brenin Assyria, ac mi a roddaf i ti ddwy fil o
42 feirch os gelli di roddi iddo ef farchogion ar-
nynt.
u Sal.10,2 9 u A pha fodd y gwrth-wynebi di un capten
a 12 5 Ezec. 29, o'r gweision lleiaf i'm harglwydd, ac yr ym-
16 ddyriedi di yn yr Aipht am gerbydau a march-
ogion?
v 2Bren. 10 v Ai o anfodd yr Arglwydd y daethum i
18, 25 2Cron 11 fynu yr awr hon yn erbyn y wlad hon iw din-
14 istrio? yr Arglwydd a ddywedodd wrthif, Dos
i fynu yn erbyn y wlad hon a dinistria hi.
11 Yna y dywedodd Eliacim, Sobna hefyd ac
Ioah wrth Rabsaceh, Llefara attolwg wrth dy
weision yn Syrian-aec, canys yr ydym ni yn ei
deall: ac na lefara wrthym ni yn iaith yr Idd-
ewon lle y clywo'r bobl y rhai [ydynt] ar y mûr.
12 w Yna y dywedodd Rabsaceh, Ai at dy w Sal. 73, 8
feistr di, ac attat tithe, yr anfonodd fy meistr fi, 1Bren 10
i lefaru y geiriau hyn? onid at y dynnion y rhai 10 Ex. 15, 9
ydynt yn eistedd ar y mûr, fel y bwyttânt eu
tomm, ac yr yfant eu trwngc gyd â chwi?
13 x A safodd Rabsaceh, a gwaeddodd â llef x 1Sam. 17, 8
uchel yn iaith yr Iddewon, ac a ddywedodd,
Gwrandewch eiriau y brenin mawr [sef] brenin
Assyria.
14 y Fel hyn y dywed y brenin, Na thwylled y Hosea 4,
Hezecia chwi: canys ni ddichon efe eich gwaredu Khuf. 6,
chwi. 31
15 z Ac na phared Hezecia i chwi ymddyried Sal. 27,1 z Dan. 15,
yn yr Arglwydd gan ddywedyd, Yr Arglwydd 6 Sal. 71,1
gan waredu a'ch gwared chwi, ni roddir y ddi- a 40, 3
nas hon yn llaw brenin Assyria.
16 a Na wrandewch ar Hezecia, canys fel hyn a 2Bren.
y dywed brenin Assyria, Gwnewch heddwch 24, 17 1Sam. 11,
â mi, a deuwch attaf, a bwyttewch bob un oi 3
win-wydden ei hun, a phob un [oi] ffigus-bren,
ac yfed pawb ddwfr ei ffynnon ei hun,
17 b Nes i'm ddyfod a'ch dwyn chwi i wlad b Ier. 2,
megis eich gwlad eich hun: gwlad ŷd a gwin, 7 Mat.4,9
gwlad bara, a gwinllannoedd, Deut.8,8
18 c Rhac i Hezecia eich hudo chwi gan ddy- c Rhuf. 8,
wedyd, Yr Arglwydd a'ch gwared chwi: a wa- 25 Eph. 6.16
redodd duwiau y cenhedloeth, pob un ei wlad Dat. 13, Hab. 1,16
o law brenin Assyria?
19 Mae duwiau Hemath, ac Arphad? mae
duwiau Sepharfaim? a waredasant hwy Sa-
maria o'm llaw i?
20 d Pwy [sydd] ym mhlith holl dduwiau y d Iam. 18,
gwledydd hyn a'r a waredasant eu gwlad o'm 11
llaw i? fel y gwarede yr Arglwydd Ierusalem
o'm llaw mau fi?
21 e Yna y tawsant, ac nid attebasant air iddo: e Diar. 9,
canys gorchymyn y brenin [oedd] hynn gan 7 a 26,4
ddywedyd, Nac attebwch ef.
22 f Yna y daeth Eliacim mab Helcia yr hwn f Mat. 26,
[oedd] ben-teulu, a Sobna'r scrifennudd, ac 65 Esra 9,3
Ioah mab Asaph y cofiadur at Hezecia â gwisc-
oedd rhwygedic, a mynegasant iddo eiriau
Rabsaceh.

## PEN. XXXVII.

*Hezecia yn gofyn cyngor i Esay, ac yntef yn addo iddo y fuddugoliaeth. 10 Cabledd Senacherib. 16 Gweddi Hezecia. 36 Angel yr Arglwydd yn lladd llu Sanacherib. 38 Ai ddau fab gnawdol yn ei ladd yntef.*

A g PHAN glybu y brenin Hezecia [hynny,] g Ester 4,
yna efe a rwygodd ei ddillad, ac a ym- 1 2Cron. 20,
wiscodd mewn sachliain, ac a aeth i dŷ'r Ar- 3
glwydd:

h1Sam.7, 8 2 h Ac a anfonodd Eliacim y pen-teulu, ac
Iago 5,16 Sobna'r scrifennudd, ac henuriaid yr offeiriaid
17 wedi ymwisco mewn sach-liain at Esay fab
Amos y prophwyd.
iSal.50,15 3 i A dywedasant wrtho, Fel hyn y dywedodd
Hezecia, Diwrnod cyfyngder, a cherydd, a
chabledd [yw]'r dydd hwn: canys y meibion a
ddaethant hyd yr anedigaethfa, ond nid [oes]
rym i escor.
jSal. 65,5 4 j Ond odid gwrandawodd yr Arglwydd dy
2Sam.16, 12 Dduw eiriau Rabsaceh (yr hwn a anfonodd bren-
1Sam.17, 45 in Assyria ei feistr ef i gythruddo y Duw byw)
Sal. 65. 5 ac a gerydda am y geiriau y rhai a glybu yr Ar-
2Sam 16, 12 glwydd dy Dduw: am hynny dercha dy weddi
1Sam. 12, 13 dros y gweddill yr hwn sydd iw gael.
Act. 6,4 Pedr 5, 5 Felly gweision y brenin Hezecia a ddaethant
Bren. 17 at Esay.
6 k A dywedodd Esay wrthynt, Fel hyn y dy-
kSal. 74, 8 wedwch wrth eich meistr, Fel hyn y dywedodd
yr Arglwydd, Nac ofna rhac y geiriau y rhai a
glywaist, [drwy] y rhai y cablodd gweision
brenin Assyria fi.
Lef. 26, 6 7 l Wele fi yn rhoddi yn ei erbyn ef wynt, fel
Diar. 28, y clywo dwrwf, ac y dychwelo iw wlad: gwnaf
Sam. 15, hefyd iddo syrthio ar gleddyf yn ei wlad ei
Mat. 7, 2 hun.
8 Yna y dychwelodd Rabsaceh, ac a gafodd
frenin Assyria yn rhyfela yn erbyn Libna: ca-
nys efe a glywse ddarfod iddo fyned o Lachis.
1Sam. 9 m Ac efe a glywodd [sôn] am Thirhaca fren-
3, 27, 28 Luc 4,29 in Ethiopia gan ddywedyd, Efe a aeth allan i
Mat. 15, ryfela â thi, pan glywodd [hynny,] yna'r anfon-
en. 22, odd gennadau at Hezecia gan ddywedyd,
Mat 27, 10 n Fel hyn y dywedwch wrth Hezecia bren-
63 Bren.18 in Iuda, gan ddywedyd, Na thwylled dy Dduw
J. 22, 8 di yr hwn yr wyt yn ymddyried ynddo gan
ddywedyd, Ni roddir Ierusalem yn llaw brenin
Assyria.
11 Wele ti a glywaist yr hyn a wnaeth bren-
hinoedd Assyria i'r holl wledydd gan eu difrodi
hwynt: ac a waredir di?
12 A waredodd duwiau y cenhedloedd hwynt
y rhai a ddarfu i'm tadau eu dinistrio, sef Go-
san, a Haran, a Reseph, a meibion Eden y rhai
[oeddynt] o fewn Thalassar.
13 Mae brenin Hemath? a brenin Arphad?
a brenin dinas Sepharfaim, Hena, ac Ifah?
Cron 7 14 o A chymmerth Hezecia y llythyrau o law
im. 2,8 y cennadau, ac ai darllenodd: yna'r aeth i fynu
i dŷ'r Arglwydd, a Hezecia ai lledodd hwynt
ger bron yr Arglwydd.
15 Yna Hezecia a weddiodd at yr Arglwydd
gan ddywedyd:
Mat. 6, 16 p Arglwydd y lluoedd, Duw Israel yr hwn
. 80, 1 wyt yn eistedd [rhwng] y Cerubiaid, Ti yn unic
ren. 6, ydwyt Dduw ar holl deyrnasoedd y ddaiar: ti
a wnaethost y nefoedd ar ddaiar.
17 q Gogwydda Arglwydd dy glust, a gwran- qDan. 9,
do, agor dy lygaid Arglwydd, ac edrych: 18 Sal. 5,1,2
gwrando hefyd holl eiriau Senacherib, yr hwn
a anfonodd i gythruddo y Duw byw.
18 Gwir [yw] O Arglwydd i frenhinoedd As-
syria ddifa'r holl wledydd ai tir,
19 r A rhoddi eu duwiau hwynt yn tân: ca- r2Sam.5, 21
nys nid [oeddynt] hwy dduwiau, onid gwaith Ier. 10, 3
dwylo dyn [o] goed, a maen, am hynny y din-
istriasant hwynt.
20 s Ac yr awr hon O Arglwydd ein Duw ni sSal59,19
achub ni oi law ef: fel y gwypo holl deyrnas- a 83, 18
oedd y ddaiar, mai ti yn unic [yw'r] Arglwydd. Ios. 7, 9
21 t Yna Esay mab Amos a anfonodd at He- tDan. 9,
zecia gan ddywedyd: Fel hyn y dywedodd 20 21 Act. 4,31
Arglwydd Dduw Israel, O herwydd it weddio Pen. 49,8
attafi yn erbyn Senacherib brenin Assyria, a 65, 24
22 u Dymma'r gair yr hwn a lefarodd yr Ar- u2Cor 11
glwydd yn ei erbyn ef: Y forwyn merch Sion 2 Dat. 11,4
a'th ddirmygodd, [ac] a'th watwarodd; merch Sal 22, 7
Ierusalem a yscydwodd ben ar dy ol.
23 v Pwy a gythruddaist, ac a geblaist? [O] vSal 2, 2
Senacherib? ac yn erbyn pwy y dyrchefaist Zec 2, 8
[dy] lef? ac y cyfodaist yn uchel dy lygaid? yn Gal 6, 16
erbyn Sanct Israel.
24 w Trwy law dy weision y ceblaist yr Ar- wEx15,9 Pen 14 15
glwydd, ac y dywedaist: Yn amlder fyng-her- 1Bren 20 10
bydau y daethum i fynu i uchelder y mynydd-
oedd, [i] ystlysau Libanus: torraf uchelder ei
cedr-wydd, ai ddewisedicaf ffynnid-wydd, âf
hefyd i'w gwrr uchaf [ac i] goed ei ddol-dir.
25 Myfi a gloddiais, ac a yfais ddwfr: â
gwadnau fy nhraed hefyd y sychais yr holl
afonydd gwarchaedic.
26 x Oni chlywaist wneuthur o honof hyn er x Sal 78, 65 69
ystalm, ai lunio er y dyddiau gynt? yn awr y
dygym hynny i ben, pan ydwyt ti yn destruwio
dinasoedd caeroc yn garneddau dinistriol.
27 y Am hynny eu trigolion yn gwttog-law a ySal 37 2
ddychrynnwyd, ac a gywilyddiwyd: oeddynt a 90 5 a 103 15
[megis] gwellt y maes, fel eginin bresech, [neu] 2 Bren 19 26
las-wellt ar nennau [tai,] neu oloesciad ŷd cyn Pen 40,6
corsi.
28 Dy eisteddiad hefyd, a'th fynediad, a'th
ddyfodiad a adnabum: a'th gynddeiriogrwydd
i'm herbyn.
29 z Am it ymgynddeiriogi i'm herbyn, ac i'th zAmos 4 2
ddadwrdd ddyfod i fynu i'm clustiau: am hyn- Ezec 29 4
ny y rhoddaf fy mach yn dy ffroen di, a'm Sal 32 9
ffrwyn yn dy weflau, ac a'th ddychwelaf di ar Iago 3 3
hyd yr un-ffordd ac y daethost.
30 A hyn [fydd] yn arwydd i ti [Hezecia,] y
y flwyddyn [hon] y bwyttei a dyfo o honaw ei
hun, ac yn yr ail flwyddyn yr attwf, ac yn y
drydedd flwyddyn, hauwch, a medwch, plen-

nwch winllannoedd hefyd, a bwytewch eu
ffrwyth hwynt.
a Gal 5 6 31 ᵃ A'r gweddill o dŷ Iuda [yr hwn] a adewir
a wreiddia eilwaith i wared, ac a ddwg ffrwyth
i fynu.
b Rhuf 9 7 Gal 3 7 9 a 4 28 32 ᵇ Canys gweddill aiff allan o Ierusalem, a
rhai diangol o fynydd Sïon: zêl Arglwydd y
lluoedd a wnaiff hyn.
33 Am hynny fel hyn y dywedodd yr Ar-
glwydd am frenin Assyria, Ni ddaw efe i'r
ddinas hon, ac nid ergydia efe saeth yno: hefyd
nid achub ei blaen â tharian, ac ni fwrw glawdd
iw herbyn.
c Diar 21 30 Ier 14 3 34 ᶜ Ar hyd yr un ffordd ac y daeth y dychwel,
ac ni ddaw i mewn i'r ddinas hon medd yr Ar-
glwydd.
d 1 Bren 11 13 Diar 10 7 35 ᵈ A mi a ddeffynnaf y ddinas hon, gan ei
chadw hi er fy mwyn i, ac er mwyn Dafydd
fyng-was.
e Act 12 23 2 Cron 32 21 36 ᵉ Yna'r aeth Angel yr Arglwydd, ac a da-
rawodd yng-wersyll yr Assyriaid gant a phed-
war-ugain, a phum mil: a'r [gweddill] a gyfod-
asant yn foreu, ac wele hwynt oll yn gelanedd-
au meirw.
f Sal 35 5 6 a 68 2 37 ᶠ Felly Senacherib brenin Assyria a gy-
chwynnodd, aeth hefyd, a dychwelodd, ac a
drigodd yn Ninife.
g Iob 20 5 a 24 21 a 31 3 38 ᵍ Pan ydoedd efe yn addoli yn nhŷ Nesroch
ei dduw ef, yna Adramelech, a Sarazer ei feib-
ion ai tarawsant ef â chleddyf, a hwynt a ddi-
angasant i wlad Armenia: ac Asarhadon ei
fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XXXVIII.

*1 Hezecia yn clafychu. 5 Yr Arglwydd yn ei iachau ef, ac yn estyn ei oes ef bymtheng-mhlynedd. 10 Hezecia yn ddiolchgar am hynny.*

h Iago 5 12 Act 14 22 YN ʰ y dyddiau hynny y clafychodd Hez-
ecia i farw: Ac Esay mab Amos y pro-
phwyd a ddaeth atto ef, ac a ddywedodd wrtho,
Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd: Trefna dy
dŷ, canys marw fyddi di, ac ni byddi byw.
i Sal 39 9 a 50 25 2 ⁱ Yna Hezecia a droes ei wyneb at y pared,
ac a weddiodd at yr Arglwydd:
j Neh 13 14 Rhuf 2 29 Sal 15 8 3 ʲ A dywedodd, Attolwg Arglwydd cofia yr
awr hon i mi rodio gêr dy fron di mewn gwir-
ionedd, ac mewn calon berffaith, a gwneuthur
yr hyn [oedd] dda yn dy olwg: A Hezecia a
wylodd âg wylofain mawr.
k Mat 7 7 4 ᵏ Yna y bu gair yr Arglwydd wrth Esay
gan ddywedyd:
l Sal 65 2 Iob 14 5 5 ˡ Dos, a dywet wrth Hezecia, Fel hyn y dy-
wed Arglwydd Dduw Dafydd dy dad: Clyw-
ais dy weddi di, gwelais dy ddagrau, wele fi yn
chwanegu at dy ddyddiau di bymtheng-mhlyn-
m Sal 91 14 edd.
2 Tim. 4 17 6 ᵐ Ac o law brenin Assyria i'th waredaf di,
a'r ddinas: canys mi a ddeffynnaf y ddinas hon.
7 ⁿ A [bydded] hyn i ti yn arwydd oddi wrth n Barn 6 36 37
yr Arglwydd, y gwna'r Arglwydd y gair hwn, Gen 9 13
yr hwn a lefarodd.
8 Wele fi yn dychwelyd cyscod y graddau
(yr hwn a ddescynnodd yn neial Ahaz gyd â'r
haul) ddec o raddau yn ei ol: felly'r haul a dda-
trodd ddec o raddau ar hyd y graddau y rhai y
descynnase [ar hyd-ddynt.]
9 Scrifen Hezecia brenin Iuda pan glafych-
ase, a byw o honaw ef oi glefyd.
10 Myfi a ddywedais, Yn nhorriad fy nyddiau
yr âf i byrth y bedd: difeddwyd fi o weddill fy
mlynyddoedd.
11 ᵒ Dywedais, Ni chaf weled yr Arglwydd o Sal 27 4
Ior yn nhir y bywion, ni chanfyddaf ddyn mwy- a 42 2
ach ym mysc trigolion y byd.
12 ᵖ Fy mhreswylfod a aeth, ac a fudodd oddi p Sal 55 23
wrthif fel lluest bugail: torrais ymmaith fy Ier 4, 20
hoedl megis y gwehydd, gan guloi efe a'm
dryllia: o ddydd hyd nos ti a'm gorphenni.
13 ᑫ Bwriedais hyd y boreu, megis llew y q Sal 51 8
drylliodd efe fy holl escyrn: o ddydd hyd nos 1 Cor 11 32
y gwnei ddiben arnaf.
14 ʳ Megis garan [neu] wennol, felly drydar a r Sal 77 4
wnaethum, griddfenais megis colomen: fy llyg- Can 2 4
aid a dderchafasyd i'r uchelder, O Arglwydd 2 Cron 32 13
[fy mlinder] a'm gorthrymmodd, esmwythâ ar-
naf.
15 ˢ Beth a draethaf, canys dywedodd wrthif s Sal 39 10
ac efe ai gwnaiff: mi a gyrwydraf fy holl flyn- Iob 7 11
yddoedd mewn chwerwedd fy enaid. a 10, 1
16 ᵗ Arglwydd iddynt hwy a fyddant byw, ac t Deut 8 3
i bawb drwyddynt hwythau [yr yspyssir] hyw-
yd fy yspryd i, am hynny'r iachei fi, ac y byw-
hei fi.
17 ᵘ Wele yn lle heddwch i mi chwerwder u Mica 7 19
chwerw: rhyngodd it fodd hefyd [waredu] fy Sal 78 18
enaid o bwll llygredigaeth: canys ti a defflaist Prov 18 25
fy holl bechodau tu ol i'th gefn.
18 ᵛ Canys y bedd ni'th fawl di, angeu [ni'th] v Sal 6 5
glodfora: y rhai sy yn descyn i'r pwll ni
obeithiant yn dy wirionedd.
19 ʷ Y byw, y byw efe a'th fawl di fel fyfi hedd- w Preg 9 10
yw: y tad a hyspyssa i'w feibion dy wirionedd. Sal 78 3 4
20 ˣ Yr Arglwydd [sydd] i'm cadw i: am Gen 18 14 x Sal 27 4
hynny y canwn fyng-haniadau holl ddyddiau a 9 14
ein heinioes yn nhŷ'r Arglwydd. a 66 13
21 ʸ Ac Esay a ddywedodd, Cymmerant swp y 2 Bren 20 7
o ffigus, a rhwymant ar y cornwyd, ac efe a
fydd byw.
22 ᶻ Yna y dywedodd Hezecia, Pa arwydd z Sal 42 1 2 a 84 2
[a geisiaf?] canys âf i fynu i dŷ'r Arglwydd. a 122 1

## PEN. XXXIX.

*Esay yn ceryddu Hezecia am iddo ef ddangos ei drysor, ai gyfoeth i'r cennadon a ddaethent o Babilon.*

a2Cor 18 7 2Bren 20 12 YN [a] yr amser hwnnw Merodac Baladan mab Baladan brenin Babilon a anfonodd lythyrau, ac anrheg at Hezecia: canys efe a glywse ei fod ef yn glaf, ai fyned yn iach.

b2Cor 32 31 Ier 17 9 Diar4.13 Sal 39 6 2 [b] Ac Hezecia a lawenychodd oi herwydd hwynt, a dangosodd iddynt dŷ ei dryssorau, yr arian, a'r aur, a'r llyssieuau, a'r olew goref, a holl dŷ ei arfau ef, a'r hyn oll a gafwyd yn ei dryssorau ef: nid oedd dim yn nhŷ Hezecia, nac yn ei holl gyfoeth ef, a'r na's dangosodd efe iddynt.

cSal 119 24 1Sam 12, 1 Ier 4 16 3 [c] Yna y daeth Esay y prophwyd at y brenin Hezecia, ac a ddywedodd wrtho, Beth a ddywedodd y gwŷr hynny, ac o ba le y daethant attat? a dywedodd Hezecia, O wlad bell y daethant attafi [sef] o Babilon.

Hos7 19 4 [d] Yntef a ddywedodd, Beth a welsant yn dy dŷ di? a dywedodd Hezecia, Yr hyn oll [oedd] yn fy nhŷ i a welsant, nid oes dim yn fy nhryssorau a'r na's dangosais iddynt.

5 Yna Esay a ddywedodd wrth Hezecia, Gwrando air Arglwydd y lluoedd:

Ier 20 5 6 [e] Wele y dyddiau 'n dyfod pan ddyger i Babilon yr hyn oll [sydd] yn dy dŷ di, a'r hyn a gynhilodd dy dadau di hyd y dydd hwn: ni adewir dim medd yr Arglwydd.

2 Bren 110 25 1 Sam13 4 7 [f] Cymmerant hefyd o'th feibion di, y rhai a ddaethant o honot [sef] y rhai a genhedlaist, fel y byddant stafellyddion yn llŷs brenin Babilon.

1Sam 3 Sam 15 alar 3 8 [g] Yna y dywedodd Hezecia wrth Esay, Da [yw] gair yr Arglwydd yr hwn a leferaist: dywedodd hefyd, Os bydd heddwch a gwirionedd yn fy nyddiau i [da yw.]

## PEN. XL.

*Efangylaidd gysur i'r eglwys. 3 Galwedigaeth Ioan fedyddiwr. 12 Gallu Duw i gyflawni y cysur uchod. 18 Ofered yw pob delw. 22 Duw'n unic sydd Ollalluog.*

CYSSURWCH, cyssurwch fy mhobl, medd eich Duw.

2 [h] Dywedwch wrth fodd Ierusalem, llefwch wrthi hi, gyflawni ei milwriaeth: canys maddeuwyd ei hanwiredd, o herwydd derbynniodd o o law'r Arglwydd yn ddau ddyblyg am ei holl bechodau.

3 [i] Canys llef sydd yn llefain yn yr anialwch, Paratoiwch ffordd yr Arglwydd, inionwch lwybr ein Duw ni yn y diffaethwch.

4 Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a brynn a ostyngir, y gŵyr a fydd yn iniawn, a'r anwastad yn wastadedd.

5 [j] A gogoniant yr Arglwydd a ymeglura fel y cyd-welo pob cnawd mai genau'r Arglwydd a lefarodd [hyn.]

6 [k] Llef a ddywedodd [wrth y prophwyd,] Gwaedda di, Yntef a ddywedodd, Beth a waeddaf, [Bod] pob cnawd yn wellt, ai holl odidawgrwydd fel blodeun y maes.

7 [l] Gwywodd y gwelltyn, [a] syrthiodd y blodeun, canys Yspryd yr Arglwydd a chwythodd arno, gwellt yn ddiau [yw] 'r bobl. lSal. 103, 16

8 [m] Gwywodd y gwelltyn, syrthiodd y blodeun, a gair ein Duw ni a saif byth. mRhuf. 3 3

9 [n] Dring rhagot yr efangyles Sïon i fynydd uchel, derchafa dithe dy lef trwy nerth O efangyles Ierusalem: derchafa nac ofna, dywed wrth ddinasoedd Iuda, Wele eich Duw chwi. nRhuf. 10 18 Can. 2, 8

10 [o] Wele'r Arglwydd Dduw a ddaw 'n erbyn y cadarn, ai fraich a lywodraetha arno ef, wele ei obrwy gyd âg ef, ai waith oi flaen. o Act. 1, 11 Dat. 22, 12

11 [p] Fel bugail y portha efe ei braidd, âi fraich y cascl ei ŵyn, ac [ai] dwg yn ei fonwes, ac a goledda y mamogiaid. pEzec 34 23 Mat. 11, 28 Rhuf. 14, 1

12 [q] Pwy a fessurodd y dyfroedd yn ei ddwrn? ac a fessurodd y nefoedd âi rychwant, ac a gymhwysodd bridd y ddaiar mewn messur, ac a bwysodd y mynyddoedd mewn pwys, a'r bryniau mewn cloriannau? Gen. 33, 13 qRhuf. 4, 20

13 [r] Pwy a gyfarwyddodd Yspryd yr Arglwydd? ac yn ŵr oi gyngor ai hyfforddiodd ef? r Iob 21, 22 2Pedr 2 9 1Cor 2.16

14 [s] A phwy'r ymgynghorodd efe, ïe [pwy] ai hyfforddiodd ac ai dyscodd mewn llwybr barn? ac a ddyscodd iddo wybodaeth, âc a gyfarwyddodd iddo ffordd deallgarwch? sIoan8.12 a 9 5

15 [t] Wele'r cenhedloedd a gyfrifwyd fel defnyn o gelwrn, ac fel brychewyn oddi wrth glorian-nau: wele fel brychewyn y bwrw efe ymaith yr ynysoedd. tSal 62 9 a 145. 8 4

16 Ac nid digon Libanus yn dân, nid digon ei fwyst-filod ychwaith yn boeth offrwm.

17 [u] Yr holl genhedloedd [ydynt] mwgis diddim ger ei fron ef, yn llai na dim, ac [na] gwagedd y cyfrifwyd hwynt ganddo. uDan. 4, 32 Act 17.28 Sal. 62, 9

18 [v] I bwy gan hynny y cyffelybwch Dduw? a pha ddelw a osodwch chwi i fynu iddo ef? vAct. 17, 29 Dan. 3, 1, 2

19 [w] Y saer a lunia gerf-ddelw, a'r eurych ai goreura, ac a dawdd gadwyni o arian. wIer. 10, 3

20 [x] Yr hwn sydd arno eisiau offrwm a ddewis bren heb pydru, cais ef atto saer cywraint i baratoi cerf-ddelw yr hon ni syfl. xSal. 115, 4

21 [y] Oni wyddoch, oni chlywch, oni fynegwyd i chwi o'r dechreuad, oni ddeallwch seiliad y ddaiar? ySal. 19, 1 Rhuf. 1, 20 Act. 14, 16

22 [z] [Myfi ydwyf] yr hwn a eistedd ar amgylchoedd y ddaiar, (pan [yw] ei thrigolion fel locustiaid) yr hwn a estyn y nefoedd fel cortyn, ac ai lleda fel pabell i drigo [ynddi.] zSal. 104, 5 Iob 9, 18

23 [a] Yr hwn a rydd lywodraeth-wyr yn ddiddim, fel gwagedd y gwnaeth efe farnwyr y tir. aSal. 107, 40

24 [b] Ac ni phlannwyd hwynt, ni's hauwyd ychwaith, ei foncyff hefyd ni wreiddiodd yn y ddaiar, eithr efe a chwythodd arnynt, ac hwynt a wywasant, a chorwynt ai dwg hwynt ymmaith fel us. b Ex. 15, 10 Dat. 19, 20

cMat.15, 25 [c] I bwy gan hynny i'm cyffelybwch, ac i'm
9 Deut.4, cystedlir medd y Sanct?
15 dSal.147, 26 [d] Derchefwch eich llygaid yn uchel, ac ed-
4 Barn.5, rychwch pwy a greawdd y rhai hyn, yr hwn a
20 ddwg eu llu hwynt allan mewn rhifedi, efe ai
geilw hwynt oll wrth eu henwau: drwy amlder
[ei] rymmi [ef,] ai gadarn allu ni phallha dim.
eSal.77,7 a 94,7 27 [e] Pa ham y dywedi Iacob, ac y lleferi Israel?
Mal.2,17 Cuddiwyd fy ffordd oddi wrth yr Arglwydd a'm
Ier.8,13 barn aiff heibio i'm Duw.
fSal.41,1 28 [f] Oni wyddost, oni chlywaist na ddeffygia,
Deut.33, 26 ac na flina Duw tragywyddoldeb? Yr Ar-
Rhuf.11, 33 glwydd a greawdd gyrau'r ddaiar, ni ellir
chwilio allan ei synwyr ef.
g2Cor.12 9 29 [g] Yr hwn a rydd nerth i'r deffygiol, ac a
amlhâ gryfder i'r dirym.
hSal.33, 16 30 [h] Canys llangciau a ddeffygiant, ac a flin-
Luc 12,19 ant, a gwŷr ieuaingc gan syrthio a syrthiant.
iSal 103,5 31 [i] Eithr y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd
2Cor 1,8, 9 a wellhant o nerth, ehedant fel eryrod, rhedant
Phil 1,6 ac ni flinant, rhodiant ac ni ddeffygiant.

## PEN. XLI.

*Daioni Duw i'w bobl.*

jZec.2,13 YNYSOEDD [j] deuwch yn ddistaw attaf,
adnewydded y cenhedloedd nerth, deu-
ant yn nes, yna llefarant, cydnessawn i farn.
kGen.11 31 2 [k] Pwy a gyfododd y cyfiawn o'r dwyrain,
Heb.11,8 [ac] ai galwodd ef iw ganlyn? [pwy] a roddodd
Gen.14,15 Sal.72,8 y cenhedloedd oi flaen ef, ac a ddarostyngodd
frenhinoedd? efe ai rhoddodd [hwynt] fel llŵch
iw gleddyf ef, [ac] fel sofl gwascaredic iw
fŵa ef.
lZec.11,4 3 [l] Y mae efe yn eu herlid hwynt, [ac] yn my-
ned yn heddychol, [ar hyd] llwybr ni cherddodd
efe âi draed [mo honaw o'r blaen.]
mAct 17, 26 4 [m] Pwy a weithredodd, ac a wnaeth [hyn?]
Dat.1,17 yr hwn a alwodd y cenhedlaethau o'r dechreu-
ad, myfi 'r Arglwydd [ydwyf] gyntaf, myfi
hefyd fydd gyd â'r diweddaf.
nDat.6, 16 5 [n] Yr ynysoedd a welsant, ac a ofnasant, ei-
Sal.2,2 thafoedd y ddaiar a ddychrynnasant, nessau-
asant a daethant.
oSal.85,8 6 [o] Pob un a gynnorthwyodd ei gyfaill, ac a
ddywedodd wrth ei frawd, Ymgryfhâ.
7 Iê y saer a gyssurodd yr eurych, [a'r]
morthwyl-wr, yr hwn oedd yn curo yr einion,
gan ddywedyd, Ei iassio sydd dda, a hwynt ai
cadarnhant â hoelion fel nad yscogir.
pMal.1,6 8 [p] Eithr ti Israel fyng-was, ti Iacob yr hwn a
Deut.7,6 Iago2,23 etholes, hâd Abraham fy annwylyd.
qMat.1,2 Ex.24,11 9 [q] Yr hwn a ymaflais ynot o eithafoedd y
Rhuf.9, 11 ddaiar, ac i'th elwais oddiwrth ei hetholedig-
ion, ac y dywedais wrthit, Fyng-was [wyt] ti,
rRhuf.8, 31 dewisaist di, ac ni'th wrthodaf.
Deut.33, 27 10 [r] Nac ofna canys yr [ydwyfi] gyd â thi, na
Luc22,31 lwfrhâ, canys myfi [ydwyf] dy Dduw: cadarn-
heais di, cynnorthwyais di hefyd, a chynheliais
di â dehenlaw fyng-hyfiawnder.
11 [s] Wele cywilyddir, a gwradwyddir y rhai sZec.12,3
oll a lidiant wrthit, dy wrthwyneb-wyr a fydd-
ant ddiddim, ac a ddifethir.
12 [t] Ti ai ceisi, ac ni's cei hwynt, [sef] y dyn- tAct.12,23
ion a ymgynhennant â thi: y gwŷr a ryfelant Dan.2,35
â thi, fyddant megis diddim, a megis darfod-
igaeth.
13 [u] Canys myfi 'r Arglwydd dy Dduw wyf uSal.109,
yn cryfhau dy ddehenlaw, yr hwn a ddywed 31
wrthit, Nac ofna, myfi a'th gynnorthwyais.
14 Nac ofna di pryf Iacob, pobl Israel: myfi
a'th gynnorthwyaf medd yr Arglwydd, sef
Sanct Israel dy waredydd.
15 [v] Wele gosodaf di yn fenn ddyrnu newydd vMic.4, 13
ddanheddoc, y mynyddoedd a ddyrni, ac a feli, Dan.2,35
gosodi hefyd y brynau fel mwlwg.
16 [w] Nithi hwynt, a'r gwynt ai dwg ymaith, wIer.51,
y corwynt hefyd ai gwascar hwynt, a thi a la- 1 Sal.34,10
wenychi yn yr Arglwydd, yn Sanct Israel y
gorfoleddi.
17 [x] Y trueniaid a'r tlodion y rhai a geisiant xZec.4,
ddwfr, ac ni's [caut: pan] ballo eu tafod o syched, 11 Mat.5,36
myfi 'r Arglwydd ai gwrandawaf hwynt, [myfi]
Duw Israel ni's gadawaf hwynt.
18 [y] Agoraf afonydd yn y brynnau, a ffynhon- yMat.5, 6
nau yng-hanol y dyffrynnoedd: gosodaf y di- Ioan 7,37 Sal.107,
ffaethwch yn llynn dwfr, a'r cras-dir yn ffrydau 35
dyfroedd.
19 [z] Gosodaf yn yr anialwch cedr-wydd, box, zDat.12,
myrh, ac oliwydd, gosodaf yn y diffaethwch 14 Rhuf.11,
ffynnidwydd, ffawydd, ac yspyddaid yng-hyd. 17
20 [a] Fel y gwelant ac y gwybyddant, yr ystyr- aSal.109,
iant hefyd, ac y deallant ar unwaith mai llaw'r 43 Mat.16,
Arglwydd a wnaeth hyn, a Sanct Israel ai cre- 18
awdd.
21 Deuwch yn nes a'ch cŵyn medd yr Ar-
glwydd, dugwch eich [rhesymmau] cadarnaf
medd Brenin Iacob.
22 Nessaed [eich eulynnod,] a mynegant i ni
y pethau a ddigwyddant, mynegwch beth yw y
pethau cyntaf, fel yr ystyriom, ac y gwypom eu
diwedd hwynt: neu traethwch i ni y pethau a
ddeuant.
23 [b] Mynegwch y pethau a ddeuant yn ol bAmos3,
[hyn?] fel y gwypom mai duwiau [ydych] chwi, 6 Sal.115,4
gwnewch hefyd lessad neu niwed: fel y my- Ier.10,4,
negom ac y gwelom yng-hyd. 10
24 [c] Wele peth heb ddim ydych chwi, a'ch c1Cor.8,
gwnenthuriad sydd ddiddim: ffiaidd [yw'r gŵr] 4 Barn.3,
a'ch dewisodd chwi. 20 Mat.3,11
25 Cyfodais [un] o'r gogledd, ac efe a ddaw o
gyfodiad haul, efe a eilw ar fy enw, pan ddelo
[efe a fathra] dywysogion fel clai, ac fel y sathr
crochenudd bridd.

dMat.14, 19 26 [d] Pwy a fynegodd o'r dechreuad, fel y
gwybyddem, ac yn mlaen llaw fel y dywedem,
Cyfiawn [yw?] eithr nid oes mynegudd, nid
oes traethudd ychwaith, ac nid oes a wrandawo
eich ymadroddion.
eMat.23, 37 27 [e] Pennaeth a ddywed i Sïon, Wele, wele
hwynt, rhoddaf hefyd efengyl-wr i Ierusalam.
28 Ond pan edrychais nid oedd neb, ïe o
honynt nid [oedd] gynghor-wr, pan ofynnais
iddynt, nid attebasant air.
fIer.10,3 1 Ioan 5, 21 29 [f] Wele hwynt oll yn anwiredd, ai gweith
redoedd yn ddiddim, gwynt a gwagedd yw eu
Sal. 15,5 tawdd-ddelwau.

## PEN. XLII.

*Swydd Crist. 10 Dyled y ffyddloniaid. 18 Cerydd y rhai diog anniolchgar.*

gPhil. 2, WELE [g] fyng-was, arno ef y pwyssaf, bod-
Mat.3,17 lon yw fy enaid i'm dewisedic, rhodd-
a 12, 19 Sal.78,8, af fy Yspryd arno: efe a draetha farn i'r cen-
hedloedd.
hTim.2, 25 2 [h] Ni waedda, ac ni ymdderchafa, ni phar
Mat 8,20 glywed ei lef oddi allan.
Mat. 11, 3 [i] Ni ddryllia gorsen wedi ei hyssigo, ac ni
Pen50,10 ddiffodd efe lîn yn mygu: mewn gwirionedd y
Luc19,10 traetha efe farn.
Ioan17,4 4 [j] Ni thristâ efe, ac ni phrydera hyd oni osodo
farn yn y tir, yr ynysoedd hefyd a ddisgwiliant
am ei gyfraith ef.
5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw cre-
awdudd y nefoedd ai hestynnudd, lledudd y
ddaiar ai chnŵd, rhoddudd enaid i'r bobl arni,
ac yspryd i'r rhai a rodiant ynddi,
Heb. 5, 6 [k] Myfi'r Arglwydd a'th elwais mewn cyf-
10,7 iawnder, ac ymafelaf yn dy law, cadwaf di
hefyd, a rhoddaf di yn gyfammod pobl, [ac] yn
oleuni cenhedloedd:
Luc4 18 Tim. 2, 7 [l] I agoryd llygaid y deillion, i ddwyn allan
y carcharor o'r carchar a'r rhai a eisteddant
[mewn] tywyllwch o'r carchar-dŷ.
8 Myfi [ydwyf] yr Arglwydd, dymma fy enw,
a'm gogoniant ni roddaf i arall: na'm mawl i
ddelw gerfiedic.
1Pedr 10,11,12 9 [m] Wele y pethau cyntaf a ddaethant, a my-
negu'r ydwyfi bethau newydd, traethaf [hwynt]
i chwi cyn eu blaen-darddu.
Sal 33,3 10 [n] Cenwch i'r Arglwydd gân newydd [my-
negwch] ei fawl ef o eithaf y tir: y rhai a ddes-
cynnant i'r môr, ac sydd ynddo, yr ynysoedd ai
trigolion.
Sal.78,9 96, 11 11 [o] Y diffaethwch ai dinasoedd a dderchaf-
ant [lef a'r] maes-drefi y rhai a bresswylia
Cedar: presswyl-wŷr y graig a ganant, o ben
Luc2,14 y mynyddoedd y llefant.
Dat.19. 12 [p] Gosodant ogoniant i'r Arglwydd, ai fawl
a fynegant yn yr ynysoedd.
1Cor10,4 13 [q] Yr Arglwydd a ddaw allan fel cawr, ac
fel rhyfel-wr yr ymwrola: efe a rua, ac a waedda,
[ac] a fydd trech nai elynnion.
14 [r] Tewais er ystalm, distewais, ymatteliais, rSal50,21 Luc 18, 7
llefaf fel gwraig yn escor, difwynaf, a difethaf ar Mal. 4, 1
un-waith. Dat.14,16.
15 [s] Mi a osodaf y mynyddoedd a'r bryn̄nau sDat. 19,
yn ddiffaethwch, ai holl wellt a wywaf, a gosod- 19
af hefyd yr afonydd yn ynysoedd, a'r llynnoedd
a sychaf.
16 [t] Arweiniaf y deilliaid ar hyd ffordd nid tLuc1,79
adwaenant, a gwnaf iddynt gerdded ar hyd Heb. 10, 20
llwybrau ni wypont, gosodaf dywyllwch yn
oleuni oi blaen hwynt, a'r pethau ceimion yn
iniawn: dymma y pethau a wnaf iddynt, ac
ni's gadawaf hwynt.
17 [u] Troed yn eu hol [a] llwyr wradwyddwyd uSal.97,7
y rhai a ymddyriedant mewn delw gerfiedic, y a 125, 5
rhai a ddywedant wrth ddelw dawdd, Chwi
[ydych] ein duwiau ni.
18 [v] O fyddariaid gwrandewch, a'r deillion vRhuf. 1
edrychwch i weled. 20
19 [w] Pwy [sydd] ddall onid fyng-wâs i? ac wSal.147
morr fyddar a'm cennad yr [hwn] a anfonaf, 19 Mal. 2,7,
pwy morr ddall a'r llwyddiannus? ïe morr ddall 8 1Tim.3,3
a gwâs yr Arglwydd?
20 [x] [Er] gweled llawer, etto nid ystyri, [er] xPen.6,9
agoryd ei glustiau etto ni wrendu. Rhuf. 2, 20
21 Yr Arglwydd sydd yn fodlon er mwyn ei
gyfiawnder i fawrhau, ac i anrhydeddu y gyf-
raith.
22 [y] Etto'r bobl hyn a yspeiliwyd, ac a an- yMat. 9,
rheithwyd, gan eu maglu hwynt oll mewn tyllau, 36
mewn carchar-dai hefyd y cuddiwyd hwynt,
oeddynt yn yspail, ac heb waredudd, yn an-
rhaith, ac heb a ddywede Gollwng adref [hwynt.]
23 [z] Pwy o honoch a wrendu hyn, a ystyr, zIer.9,12
ac a glyw rhac-llaw? aSal 44,9
24 [a] Pwy a roddes Iacob yn anrhaith, ac Is- Galar. 1, 8
rael i yspeil-wyr? onid yr Arglwydd yr hwn y Barn. 2, 14
pechasom iw erbyn, ac ni fynnent rodio yn ei
ffyrdd, ac ni wrandawent ar ei gyfraith?
25 [b] Am hynny y tywalltodd efe arno lidiawg- bSal. 79,
rwydd ei ddigter, a chryfder rhyfel ai ffaglodd 6 Hos. 7, 8
efe oddi amgylch, ond ni chydnabu efe, llosc- Ier. 5, 3
odd ef hefyd ond nid ystyrriodd.

## PEN. XLIII.

*Daioni Duw yn cadw ei eglwys. 14 Yn darostwng ei gelynnion hi. 25 Ac yn maddeu ei phechodau er ei fwyn ei hun.*

AC [c] yr awr hon fel hyn y dywed yr Ar- cEph. 2,
glwydd, dy greawdur di Iacob, a'th lunni- 10 Ex. 19, 5
wr di Israel: Nac ofna canys gwaredais di: gel-
wais [di] erbyn dy enw, eiddo fi [ydwyt ti.]
2 [d] Pan elech trwy'r dwfr myfi a [fyddaf] gyd d1Cor.10
â thi, a thrwy'r afonydd [fel] na'th foddant, pan 13
rodiech drwy'r tân ni'th loscir, ac ni ennyn y
fflam arnat.

cDiar.11 3 [c] Canys myfi'r Arglwydd dy Dduw, Sanct
8 a xl, 28 Israel dy waredudd a roddais yr Aipht yn iawn
trost, Ethiopia, a Saba am danat.
fMal.3,17 4 [f] Er pan aethost yn gu yn fyng-olwg i'th og-
Ex. 19, 5 oneddwyd, canys mi a'th hoffais, am hynny y
rhoddaf [ddynuion] am danat ti, a phobloedd er
dy fwyn di.
5 Nac ofna, canys yr ydwyfi gyd â thi, o'r
dwyrain y dygaf dy hâd, ac o'r gorllewyn i'th
gasclaf.
g Deut. 6 [g] Dywedaf wrth y gogledd, Dod, ac wrth y
28, 64 debau Nac attal: dwg fy meibion o bell, a'm
Ioan 2,11 merched o eithaf y tîr:
Ioan 6,37
a 10, 16 7 [h] [Sef] pob un a elwir ar fy enw, canys i'm
h Ioan 1, gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac y gwneuth-
12 um ef hefyd.
Eph. 1,5,
6 8 [i] Dug allan y bobl ddall a llygaid iddynt,
1 Pedr 2 9 byddariaid a chlustiau iddynt.
i Ac. 2,41
j Ioan 8,36 9 [j] Cascler yr holl genhodloedd yng-hyd, cyn-
Ioan 10, huller y bobloedd, pwy o honynt a fynega hyn?
37 ac a draetha i ni y pethau cyntaf? rhoddant eu
tystion fel y cyfiawnhaer hwynt, neu gwrandaw-
ant, a dywedant, Gwir [yw.]
k Act. 10, 10 [k] Fy nhystion mauti [ydych] chwi medd yr
39 Arglwydd, a'm gwâs yr hwn a ddewisais, fel y
Rhuf. 10, gwypoch, ac y credoch i mi, ac y ddealloch mai
10
2 Cor. 4, myfi [yw]'r hwn nid [oedd] duw wedi ei ffurfio
13 oi flaen, ac ni bydd ar ei ol.
11 Myfi, myfi [sydd] Arglwydd: ac nid [oes]
geidwad onid myfi.
l Deut. 32 12 [l] Myfi a fynegais, ac a achubais, ac a
12 dreuthais pryd nad [oedd] duw dieithr yn eich
mysc, chwi hefyd [ydych] fy nhystion (medd yr
Arglwydd) mai myfi [sydd] Dduw.
13 [m] Ie cyn [bod] dydd yr ydwyfi, ac nid [oes]
m Ioan 8, a waredo o'm llaw, gwnaf, a phwy a luddia
58 hynny?
n Luc 18, 14 [n] Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd eich
7 gwaredudd chwi Sanct Israel, Er eich mwyn
Dat. 18, chwi'r anfonais i Babilon, ac y tynnais i lawr
11 yr holl ffoaduriaid, a'r Caldeaid, ai gorfoledd
mewn llongau.
o Hos 3,5 15 [o] Myfi 'r Arglwydd [ydwyf] eich Sanct
chwi, Creawdudd Israel, eich Brenin chwi.
p Ex. 14, 16 [p] Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Yr
20 Arglwydd, yr hwn a rydd ffordd yn y môr, a
Sal. 77,19 llwybr yn y dyfroedd cryfion.
Ios. 3, 7
q Dat. 18, 17 [q] Yr hwn a ddwg allan y cerbyd a'r march,
21 y llu a'r cryfder: cyd-orweddant, fel na cho-
Sal. 1, 4 dant, darfuant, fel llîn y diffoddasant.
r Ier. 16,14 18 [r] Na chofiwch y pethau cyntaf, nac ystyr-
iwch y pethau gynt.
s 2 Cor. 5, 19 [s] Wele fi yn gwneuthur peth newydd, yr
17 awr hon y dechreu, oni chewch ei wybod?
gosodaf ffordd yn yr anialwch, ac afonydd yn
y diffaethwch.

20 [t] Bwystfil y maes, y dreigiau, a chywion yr t Rhuf 8,
Estrys a'm gogoneddant, am roddi o honof 21
ddwfr yn yr anialwch, [ac] afonydd yn y di-
ffaethwch i roddi diod i'm pobl ddewisedic.
21 [u] Y bobl hyn a luniais i'm fy hun, fy mol- u Eph. 1
iant a fynegant. 6
22 [v] Ni elwaist arnaf Iacob, eithr blinaist v Sal. 29 6
arnaf Israel. Mal 1 13
23 [w] Ni ddygaist i'm filin dy offrymmau poeth, w Diar 15
ac ni'm anrhydeddaist â'th ebyrth: ni cheisiais 8
gennit fyng-wasanaethu â bwyd offrwm, ac
ni'th flinais âg arogl-darth.
24 [x] Ni phrynaist i'm Galamus âg arian, ac x Amos 5
ni'm trochaist â brasder dy ebyrth, eithr ti a'm 14
llwythaist â'th bechodau, blinaist fi â'th anwir- Pen. 1 24
eddau.
25 [y] Myfi, myfi [yw]'r hwn a ddelea dy gam- y Act. 3
weddau er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy 19
bechodau. 2 Cor. 5 19
26 [z] Dwg ar gof i'm, cyd-ymgyfreithiwn, adrodd z Mica 6 3
di [ryw beth] fel i'th gyfiawnhaer.
27 [a] Dy dad cyntaf a bechodd, a'th athrawon a Iob 31
a wnaethant gamwedd i'm herbyn. 33
28 [b] Am hynny yr halogais dywysogion y Act. 5 31
cyssegr, ac y rhoddais Iacob yn ddiofryd-beth, Mal. 2 7
ac Israel yn wradwydd. b Galar 2
2
Dan. 9 7
Rhuf. 11
9
Deut. 28
37

## PEN. XLIV.

*Duw yn addo daioni iw eglwys. 6 Efe yn unic yn Dduw. 9 Ofered delwau a'r rhai ai gwnelont. 22 Duw yn drugarog yn maddeu pechodau: ac yn alluog i wneuthur a fynno.*

AC [c] yn awr gwrando Iacob fyng-was, ac
Israel yr hwn a ddewisais. c Ier. 30
10
2 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd yr hwn Dent. 32
a'th wnaeth, ac a'th luniodd er pan oeddit yn y 15
groth, efe a'th gynnorthwya, Nac ofna fyng-was
Iacob nac ofna, a'r cyfiawn yr hwn a ddewisais.
3 [d] Canys tywalltaf ddyfroedd ar y cras-dir, a d Ioel 2,
ffrydau ar y sych-dir, tywalltaf fy Yspryd ar 28
dy hâd, a'm bendith ar dy hiliogaeth. Act 2 15
a 11 5
a 21 28
1 Ioan 2
4 [e] A hwynt a dyfant yng-hyd megis y glas- 20
wellt, [ac] fel helyg wrth ffrydau dyfroedd. e Eph. 4
16
5 [f] Hwn a ddywed Eiddo'r Arglwydd ydwyfi, Col. 2 19
a'r llall ai geilw ei [hun] ar enw Iacob, ac arall 2 Pedr 3
a scrifenna âi law Eiddo 'r Arglwydd [ydwyf,] 18
ac a ymgyfenwa ar enw Israel. f Sal. 87 5
2 Cor. 3 5
Rhuf. 4
11
6 [g] Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Brenin g Dat. 1 8
Israel ai waredudd, Arglwydd y lluoedd, Myfi 17
[ydwyf] gyntaf, diweddaf [ydwyf] fi hefyd, ac Pen. 48
nid [oes] Duw onid myfi. 12
7 [h] Pwy hefyd fel fi a eilw, a fynega, ac a esyd h Rhuf 11
hyn yn drefnus o'm blaen i, [sef beth a fu] er 29
pan osodais bobl y byd? neu mynegant iddynt 2 Tim. 1 9
yr arwyddion a'r pethau a ddeuant. Eph. 1 4
5
Dat 13 8
8 [i] Nac ofnwch ac nac arswydwch, onid er Ioan 10
hynny y treuthais it, ac y mynegais? a'm tystion 29
[ydych] chwi, A oes Duw onid myfi? canys i 1 Sam 2
2

nid [oes] duw nad adwen.
j Ier.10,4 9 j Oferedd ydynt hwy oll y rhai a luniant
ddelw gerfiedic, ni wna'r hyn a ddymunant lesâd : eu tystion ydynt hwy eu hun na welant, ac
na wyddant [ddim] fel y cywilyddier hwynt.
k Hab. 2, 18 10 k Pwy a lunie dduw, neu a fwrie ddelw
gerfiedic heb wneuthur lles?
l Sal. 97,7 11 l Wele eu holl gyfeillion a gywilyddir, y
seiri hefyd o ddynnion [y maent] hwy: hwynt
oll a gesclir, a safant, a ofnant, [ac] a gyd-gywilyddiant.
12 Y gôf[a gymmer] fwyall, ac a weithia â glô,
ac ai llunia â morthoelion, ïe o nerth ei fraich y
gweithia hi: newynog [fydd] hefyd, ac heb nerth,
nid ŷf ddwfr hyd oni ddeffygio.
m Barn. 17, 5 13 m Y saer pren a estyn linin, ac ai llunia hi
1 Thes. 2, 4 wrth linin côch, efe ai gweithia hi â bwyill, ac ai
cymhwysa hi wrth gwmpas, ac ai gwna ar ol
delw dyn, fel prydferthwch dyn i aros [mewn]
tŷ.
n 1 Sam. 5, 6 14 n [Efe] a aiff i dorri iddo cedr-wydd, ac efe
Hab.2,13 a gymmer gelynen, neu dderwen, ac a ymegnïa
ar brennau'r coed: plannodd bin-wydden, a'r
glaw ai maethodd.
15 o A hi a aeth [yn dda] i ddyn i gynneu tân,
ac efe a gymmer o honi, ac a ymdwyma, llŷsc
hefyd fel y pobo fara, gweithia efe dduw hefyd,
ac ai addola ef, gwnaiff ef yn ddelw gerfiedic,
ac efe a ymgrymma iddo.
16 Rhan o honaw a lŷsc efe yn tân, wrth ran
o honaw y bwytu gig, rhostia rost, fel y diwaller
ef: efe a ymdwyma hefyd, ac a ddywed, Aha ymdwymais, gwelais dân.
17 A'r rhan arall yn dduw y gwnaeth, [ac] yn
ddelw gerfiedic iddo, efe a ymgrymma iddo, ac
a ymostwng, ac a syrth oi flaen, ac a ddywed,
Gwaret fi, canys fy duw [ydwyt] ti.
p Ier 10,4 18 p Ni wyddant, ac ni ddeallant, canys [Duw]
a gaeodd eu llygaid hwynt rhag gweled, ai calonnau rhag deall.
19 Ië ni feddwl [un] yn ei golon, ïe nid [oes]
wybodaeth, na deall i ddywedyd, Lloscais ei
hanner ef yn tân, ac ar ei farwor y pobais fara,
y rhostiais gig, ac y bwytteais: ac a wnaf fi yr
rhan arall yn ffiaidd-beth? a ymgrymmafi ddarn
o bren?
20 q Pori lludw y mae, calon siommedic ai
twyllodd ef, fel na waredo ei enaid, ac na ddywedo, Onid geudeb sydd yn fy neheu-law?
21 r Meddwl hyn Iacob, ac Israel, canys fyngwâs [ydwyt] ti: lluniais di, gwas i mi [ydwyt,]
nac anghofia fi Israel.
22 s Deleais dy gamweddau fel cwmwl, a'th
bechodau fel niwl: dychwel attafi canys gwaredais di.
23 t Cenwch nefoedd canys yr Arglwydd a
wnaeth [hyn,] gorfoleddwch gwaelodion y ddaiar: bloeddiwch ganu fynyddoedd, y coed a phob
pren ynddo: canys gwaredodd yr Arglwydd
Iacob, ac yn Israel yr ymogonedda efe.
24 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd dy waredudd, a'r hwn a'th luniodd o'r grôth: Myfi 'r
Arglwydd sydd yn gwneuthur oll, yn estyn y
nefoedd fy hunan, [ac] yn lledu y ddaiar o honof
fy hun.
25 u Yr hwn a ddiddymma arwyddion y bryd- u 1 Bren. 22. 6
wyr, ac a ynfyda ddewiniaid, a dry y doethion 1 Cor. 1, 20
yn eu hol, ac a wna eu gwybodaeth yn ynfyd. Ier.50,36
26 v Yr hwn a gyflawna air ei was, ac a gwbl- Iob 5, 12 v Zec. 1 6
hâ gyngor ei genhadon, yr hwn a ddywed wrth 2 Pedr 1, 21
Ierusalem, Ti a breswylir, ac wrth ddinasoedd
Iuda, Chwi a adeiledir, a chyfodaf ei hadwyau.
27 w Yr hwn wyf yn dywedyd wrth y dyfnder, w Dat.16, 12
Bydd sŷch, ac mi a sychaf dy anfonydd.
28 Yr hwn wyf yn dywedyd wrth Cyrus fy
mugail, am gyflawni o honaw ef fy holl ewyllys,
ac am ddywedyd wrth Ierusalem, Ti a adeiledir,
ac wrth y deml, Ti a sylfeinir.

## PEN. XLV.

*Duw yn gwaredu ei bobl drwy Cyrus. 14 Er mwyn helaethu teyrnas Grist pan ddele efe.*

FEL x hyn y dywedodd yr Arglwydd wrth Cy- x 1 Bren. 19, 15
rus ei eneiniog, yr hwn yr ymaflais i yn ei Dan 5,30
ddehau-law, gan danu cenhedloedd oi flaen ef: fel Act.12,10
y dattodwn lwynau brenhinoedd, [a] chan agoryd Ioa. 6, 4
dorau, a phyrth oi flaen ef fel na's caeid,
2 y Mi af oi flaen ef, ac a inionaf yr amgylch- y Sal.107, 16
ffyrdd, y doran prês a dorraf, a'r barrau heirn a Col. 2, 15
ddrylliaf.
3 z Ac a roddaf it dryssorau cuddiedic, a z Ier. 50, 37
chuddfeudd dirgel, fel y gwypech mai myfi'r Sal. 30, 7
Arglwydd Duw Israel [a'th] alwodd erbyn dy Ezra 1, 2
enw.
4 a Er mwyn Iacob fyng-was, ac Israel fy a Eph.1,6
etholedic y gelwais arnat erbyn dy enw, ac i'th
gyfenwais pan ni'm hadwaenit.
5 b Myfi [ydwyf] yr Arglwydd, ac nid neb b Sal. 18, 32
amgen, nid [oes] Duw onid myfi: darperais di
pan ni'm hadwaenit.
6 c Fel y gwyddent o godiad haul, ac o'r gor- c Mal. 1, 11
llewyn, nad dim onid myfi, myfi [yw'r] Arglwydd, ac nid neb amgen:
7 d Yn llunio goleuni, ac yn creu tywyllwch, d Iob 34, 29
yn gwneuthur llwyddiant, ac yn creu drygfyd: a 8, 10
myfi'r Arglwydd sydd yn gwneuthur hyn oll.
8 e Defnynnwch y nefoedd oddi uchod, a di- e Dat. 18, 21
fered yr wybrennau gyfiawnder, ymagored y Sal. 72,3
ddaiar, ffrwythed hefyd iechydwriaeth, a chyfiawnder, gwnaed [y ddaiar iddynt] gyd-tarddu,
myfi'r Arglwydd ai creias.
9 f Gwae a ymrysono âi luni-wr, [ymrysoned] f 2 Bren. 6, 33
priddell â phriddellau'r ddaiar, a ddywed y clai Rhuf. 9, 20

wrth ei luni-wr, Beth a wnei? neu [Y] mae dy-
waith heb ddwylo iddo?
10 Gwae a ddywedo wrth dad, Beth a gen-
hedli? neu wrth wraig, Beth a escori?
g Ios. 10, 14 11 g Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Sanct
Mat.17,10. Israel, ai luni-wr, Gofynnwch i mi arwyddion
Ex.32,10 1 Ioan 5, 14 am fy meibion, a gorchymynnwch fi am waith
fy nwylo.
h Gen. 1, 26 12 h Myfi a wnaethum y ddaiar, ac a greais
ddyn arni, fy nwylo mau fi a estynnasant y nef-
oedd, a rhoddais orchymynnion am eu holl
luoedd.
i Dat. 19, 11 13 i Myfi ai cyfodais ef mewn cyfiawnder, ai
Hos. 14,4 holl ffyrdd a gyfarwyddaf, efe a adailada fy
Rhuf. 3, 24 ninas, efe a ollwng fyng-harcharorion heb werth
1 Cor. 6, 20 na gobrwy, medd Arglwydd y lluoedd.
j Sal. 72,9 10, 11 14 j Fel hyn y ddywedodd yr Arglwydd,
Dat. 3,19 Llafur yr Aipht, a marsiandiaeth Ethiopia, a'r
Dan 7,14 Zec. 8,23 Sabeaid hirion a ddeuant attat ti, eiddo ti fydd-
ant, ar dy ol y deuant, mewn bualau yr ant, ac
yr ymgrymmant i ti, attat y gweddiant [gan ddy-
wedyd,] Ynot ti yn unig [y mae] Duw, ac nid
[oes] un Duw arall.
k 1 Tim. 1 17 15 k Ti yn ddiau wyt Dduw yn ymguddio,
Eph.1,26 Duw Israel [sydd] achubudd.
16 Cywilyddiwyd a gwradwyddwyd hwynt
oll, seiri delwau a gyd-aethant mewn gwrad-
wydd.
l Dan. 4, 24 17 l Israel a achubir yn yr Arglwydd [trwy]
iechydwriaeth dragwyddol: ni'ch cywilyddir,
ac ni'ch gwradwyddir byth bythoedd.
m Sal.115 16 18 m Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd
Gen.1,28 creawdudd y nefoedd, efe [yw] y Duw a luniodd
y ddaiar, ac ai gwnaeth: efe ai siccrhaodd hi,
ni chreawdd hi yn wag, eithr iw phresswylio y
lluniodd hi: Myfi [yw'r] Arglwydd, ac nid neb
amgen.
n Ioan 18, 20 19 n Ni leferais mewn dirgelwch, mewn mann
1 Cor.15, 58 tywyll o'r ddaiar, ni ddywedais wrth hâd Iacob
Mal. 3,14 [mewn] gwegi, Ceisiwch fi: myfi [yw'r] Arglwydd
yn llefaru cyfiawnder, [ac] yn mynegu iniondeb.
o Eph. 2, 12 20 o Ymgesglwch, a deuwch, cyd-nessewch
Ier. 2,17 gweddillion y cenhedloedd, ni wydde y rhai a
dderchafasant goed eu cerf-ddelw, ac a weddi-
ent dduw nid alle achub.
21 Mynegwch, a nessewch cyd-ymgynghorer
hefyd, pwy a draethodd hyn er gynt? [ac] ai
mynegodd y pryd hynny? onid myfi'r Arglwydd?
canys nid oes Duw arall onid myfi: yn Dduw
cyfiawn, ac yn achubudd nid [oes] onid myfi.
p Mica 7, 7 22 p Troiwch attafi holl gyrrau'r ddaiar fel i'ch
2 Cron.20 12 achuber: canys myfi [ydwyf] Dduw, ac nid neb
arall.
q Phil. 2, 10 23 q I'm fy hun y tyngais, aeth gair o'm genau
[mewn] cyfiawnder, ac ni ddychwel, mai i mi y
plyga pob glin, [ac] y twng pob tafod.

24 r Yn unic yn yr Arglwydd (medd efe) [y r 1 Cor. 1, 30
mae] i mi gyfiawnder, a nerth, atto ef y deuir, a
chywilyddir pawb a ddigiant wrtho.
25 s Yn yr Arglwydd y cyfiawnheuir, ac yr s Act. 13, 43
ymogonedda holl hâd Israel. Rhuf. 3, 24, 25 Rhuf. 11, 26 Gal. 4,28

## PEN. XLVI.

*Digofaint Duw yn erbyn delwau. 3 A chyngor i'r ffydd-lonniaid iw ffieiddio hwynt.*

SYRTHIODD t Bel, torrwyd i lawr Nebo: t Ier. 10,5
aeth eu delwau hwynt ar fwyst-filod, ac ar
anifeiliaid: eich clud a lwythwyd yn drwm ar y
deffygiol.
2 Gostyngasant, cyd-grymmasant, ni allent
achub y llwyth, canys aethant mewn caethiwed
eu hunain.
3 u Tŷ Iacob gwrandewch arnafi, a holl weddill u Deut. 32, 11
tŷ Israel, y rhai a gludwyd o'r grôth, ac a ar- 1 Cor. 4, 15
weiniwyd o'r brû. Gal. 4,19
4 v Hyd henaint hefyd myfi fy hun, ïe myfi v Sal. 48, 15
[a'ch] cludaf hyd oni ben-wynnoch: gwneath- Mat. 3,6
um, arweiniaf hefyd, cludaf, a gwaredaf [chwi.] Sal. 102, 27
5 I bwy i'm gwnewch yn debyg, ac i'm cysted-
lwch, ac i'm cyffelybwch, fel i'm tebyger [iddo?]
6 w Y rhai a wastraffant aur o'r pwrs, ac a w Ex. 32, 3
bwysant arian mewn clorian, a gyflogant eur-
ych, ac efe ai gweithia yn dduw, gostyngant, ac
ymgrymmant [iddo.]
7 x Dygant ef ar yscwyddau, cludant ef a gosod- x Ier. 10,4 5
ant fel y safo yn ei le, ni syfl oi le, os llefa [un] ar Act. 17, 28
hwnnw, nid etyb, ac ni's gwared ef oi gystudd.
8 y Cofiwch hyn, ac ymwrolwch, ystyriwch y 1 Cor. 14 20 a 16,30
bechaduriaid.
9 Cofiwch y pethau cyntaf er ioed, canys myfi
[ydwyf] Dduw, ac nid neb arall, Duw [ydwyf,]
ac heb fy math:
10 z Yn mynegu y diwedd o'r dechreuad, ac er z Sal. 33, 11
cynt yr hyn ni wnaed [etto,] yn dywedyd, Fyng- Act. 5,39
hyngor a saif, a'm hewyllys a wnaf. Diar. 19, 21
11 a Yn galw aderyn o'r dwyrain, a'm cyng- a Dat. 19, 17
hor-wr o wlad bell, dywedais, ac mi ai dygaf i Dat. 17, 17
benn, lluniais, ac mi ai gwnaf. Ier. 50,45
12 b Gwrandewch arnafi, y rhai cedyrn galon, b Sal. 76,5
y rhai pell oddi wrth gyfiawnder.
13 c Nesseais fyng-hyfiawnder, [fel] na phell- c Rhuf. 1, 17 a 3,21
hao, a'm hiechydwriaeth nid erys: rhoddaf Eph. 1,6
hefyd iechydwriaeth yn Sion, a'm gogoniant yn
Israel.

## PEN. XLVII.

*Dinistr y Babiloniaid a'r achos o hynny.*

DESCYN, d ac eistedd yn y llwch [ti] for- d Luc 16, 25
wyn, ferch Babilon: eistedd i lawr heb or- Dat. 18,7
seddfaingc [ti] ferch y Caldeaid: canys ni th alw-
ant mwy yn dyner, ac yn foethus.
2 e Cymmer feini melin, a mala di flawd, dat- e Mat. 24, 41
cuddia dy lywethau, noetha dy sodlau, dinoetha Dat. 18,19
dy forddwydydd, dos drwy afonydd.

fDat.18,8 3 [f] Dy frynti a ddatguddir, dy warth hefyd a
Rhuf. 18, 19 welir, dialaf, ac ni adawaf i ddyn fyng-wrth-
Iago 2,13 wynebu.
4 Ein gwaredudd ni, ei enw [yw] Arglwydd
y lluoedd, Sanct Israel.
g 1 Sam. 5 [g] Eistedd yn ddistaw, a dos mewn tywyll-
2, 9 wch [ti] ferch y Caldeaid, canys ni'th alwant
mwy yn arglwyddes y teyrnasoedd.
h Zec. 1, 6 [h] Digiais wrth fy mhobl, halogais fy etifedd-
15 Dat. 13, iaeth, rhoddais hwynt yn dy law di, ni chym-
16 meraist drugaredd arnynt, rhoddaist dy iau yn
drom iawn ar yr henoriaid.
iDat.18,7 7 [i] A dywedaist, Byth y byddaf arglwyddes,
felly nid ystyriaist hyn, ac ni chofiaist ei di-
wedd hi.
jIer. 18,7 8 [j] Ond yn awr gwrando hyn y foethus yr hon
2 Thes. 2, 4 a drig yn ddiofal, yr hon a ddywed yn ei chalon,
Myfi sydd ac nid neb amgenach: nid eisteddaf
yn weddw, ac ni chaf wybod beth yw dihepil-
edd.
k Dat. 9, 9 [k] Y ddau beth hyn a ddeuent it yn ddisym-
21 a 18,23 mwyth yr un dydd, dihepiledd, a gweddwdod,
2 Thes. 2 9 yngwbl y deuant arnat, er amlder dy hudolion,
a mawr nerth dy swynyddion.
Sal. 52,7 10 [l] Canys ymddyriedaist yn dy ddrygioni,
Diar. 3,5 Dan. 2,2 dywedaist Ni'm gwel [neb,] dy ddoethineb, a'th
wybodaeth a'th hurtiant, fel y dywedi yn dy
galon, Myfi [sydd,] ac nid neb amgen.
m Dan. 5, 30 11 [m] Am hynny y daw arnat ddrygfyd yr hwn
1 Thes. 5, ni chei wybod ei ddechreuad, a syrth arnat
Dat. 18,6 ddinistr ni's gelli ei ochelyd: ïe daw arnat ddes-
truw heb wybod it.
1 Thes. 12 [n] Saf yn awr gyd â'th swynyddion, a chyd
9, 10 Dat. 17,2 âg amlder dy hudolion yn y rhai'r ymflinaist
o'th ieuengctid, i edrych a elli wneuthur llês, i
edrych a fyddi grymmus.
13 Ymflinaist yn amlder dy gynghorion dy
hun, safed yn awr astronomyddion y nefoedd y
rhai a dremmiant ar y sêr, y rhai a yspysant am
y misoedd, ac achubant di oddi wrth y petheu a
ddeuant arnat.
Nah 1,1 14 [o] Wele hwynt hwy a fyddant fel sofl, tân
Ex. 15, 7 1 Cor. 3, ai llysc hwynt, ni waredant eu henioes o fedd-
Ier. 51,32 iant y fflam, nid [oes] farworyn i ymdwymo,
Dat.18,21 [na] thân i eistedd ar ei gyfer.
Dat. 18, 1 15 [p] Felly'r aethant hwy it, gyd â'r rhai y blin-
aist, [sef] dy farsiand-wyr o'th ieuengctid, cyr-
wydrasant bob un ar ei gyfer, heb [un] yn dy
achub di.

## PEN. XLVIII.

*Ffugfoliaeth yr Iddewon. 11 A Duw yn maddeu iddynt, ac yn eu gwared er ei fwyn ei hunan.*

Rhuf. 2, GWRANDEWCH [q] hyn tŷ Iacob, y rhai
Dat. 3, 9 a elwir ar enw Israel, ac a ddaethant all-
Dat. 15,8 an o ddyfroedd Iuda, y rhai a dyngant i enw'r
Arglwydd, ac a goffânt am Dduw Israel, nid
mewn gwirionedd, nac mewn cyfiawnder,
2 [r] Er eu henwi o'r ddinas sanctaidd, a phwyso rMica 7, 11
o honynt ar Dduw Israel, enw yr hwn [yw]
Arglwydd y lluoedd.
3 [s] Y pethau cyntaf a fynegais er y pryd hyn- s Ios. 21 45
ny, ac a ddaethant o'm genau, ac a draethais, a
wnaethum yn ddisymmwth, ac a ddaethant i
benn.
4 [t] O herwydd i'm wybod dy [fod] ti yn galed, tIer 2 3.
a'th warr [fel] geûn haiarn, a'th dalcen yn brês.
5 Am hynny mynegais i ti er y pryd hynny,
adroddais it cyn ei ddyfod, rhac dywedyd o
honot, Fy nelw a wnaeth hynny, fyng-herf ddelw
a'm tawdd ddelw a ordeiniodd hynny.
6 [u] Clywaist [hyn o'r blaen] wele ef oll, oni u Sal 40 10
fynegwch chwitheu [ef:] adroddais it bellach Act 17
bethau newyddion, a phethau cuddiedic y rhai Col 1 16
ni wyddit oddi wrthynt.
7 [v] Yn awr y creuwyd hwynt, ac nid er y pryd vAmos 3, 7
hynny, cyn heddyw ni chlywaist sôn am dan- Luc 1,70
ynt: rhac dywedyd o honot, Wele gwyddwn
hynny.
8 [w] Ie, nis clywsit ac nis gwyddit ychwaith, w Deut 29, 4
nid agorasit dy glust y pryd hynny, canys Sal 58, 3
gwyddwn y byddit lwyr anffyddlon: am hynny
o'r grôth i'th alwyd yn gamweddol.
9 [x] Er mwyn fy enw'r oedaf fy llid, ac [er] fy xSal106 8 a 130, 4
mawl yr attaliaf oddi wrthit heb dy ddifetha.
10 Wele myfi a'th burais, ond nid fel arian,
dewisais di mewn pair cystudd.
11 [y] Er fy mwyn fy hun, er fy mwyn fy hun y ySal 79 9
gwnaf [hyn] (canys onide [fy enw i] a halogid,)
diau ni roddaf fyng-ogoniant i arall.
12 [z] Gwrando arnafi Iacob, ac Israel yr hwn a zRhuf16
elwais: Myfi fy hun [wyf] gyntaf, a mi fy hun Dat 1 17
[wyf] y diwethaf.
13 [a] Fy llaw hefyd a seliodd y ddaiar, a'm de- a Ioan 1, 13
heulaw a ddyrnfeddodd y nefoedd: pan alwyfi Sal 147, 4
arnynt cyd-safant. Gen 2, 1
14 [b] Ymgesclwch chwi oll a gwrandewch pwy bSal 76,1
o honynt hwy a fynegodd hyn? yr Arglwydd Mat 3, 17
yr hwn ai hoffa ef a wna ei ewyllys ar Babilon, 2Thes2,8
ai fraich ef [a ddifetha] y Caldeaid.
15 [c] Myfi, myfi a leferais, ac ai gelwais ef: cSal 45,3
dygais ef, ai ffordd a lwydda.
16 [d] Nessewch attaf, gwrandewch hyn, ni lef- dHab 2,1
erais o'r cyntaf mewn dirgelwch er y pryd y Ier 26 12
mae hynny'r [ydwyf] inne yno: ac yn awr yr
Arglwydd Dduw ai Yspryd a'm hanfonodd.
17 [e] Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd dy eSal 5, 5
waredudd, Sanct Israel, Myfi'r Arglwydd dy
Dduw [ydwyf] yn dy ddyscu di i wellhau, gan
dy arwein yn y ffordd a rodiech.
18 [f] O na wrandawsit ar fyng-orchymynnion, f Deut 5 29
yna y buase dy lwyddiant fel afon, a'th gyfiawn- Sal 119 165
der fel tonnau'r môr.

19 Yna y buase dy hâd fel tywod, ac eppil
dy gorph fel ei raian ef: ni thorryd, ac ni ddin-
istrid ei enw oddi ger fy mron.
gDat18 4 20 g Ewch allan o Babilon, ffoiwch oddi wrth
a 19 1 Luc 1 68 y Caldeaid, mynegwch, [ac] adroddwch hyn â
llef gorfoledd: treuthwch ef hyd eithafoedd y
ddaiar: dywedwch, Gwaredodd yr Arglwydd
ei was Iacob.
hEx 17 6 21 h Ac ni sychedasant yn yr anialwch, arwein-
iodd hwynt, gwnaeth i ddwfr bistyllu iddynt
o'r graig: canys holltodd y graig, a'r dwfr a
ddiferodd.
22 Nid [oes] heddwch (medd yr Arglwydd)
i'r rhai annuwiol.

## PEN. XLIX.

*Swydd Crist yw casclu ei eglwys o bob cenhedlaeth. 7 Addewidion cyssurus i Grist, ac iw eglwys.*

iHab 5 4 GWRANDEWCH i arnaf ynysoedd, ac
Sal 2 7 Mat 1 20 ystyriwch bobl o bell, yr Arglwydd a'm
galwodd o'r grôth, parodd goffau fy enw o frû
fy mam.
jDat 11 6 2 j Gosododd hefyd fyng enau fel cleddyf llym,
Act 8 37 2Thes 2 8 a thaun gyscod ei law i'm cuddiodd: gosod-
Sal 21 18 a 45 5 odd fi yn saeth loiw, cuddiodd fi yn ei gawell
saethau.
kGal 3 16 3 k Efe a ddywedodd wrthif, Fyng-was i [yd-
Rhuf 11 26 wyt] ti Israel, yr hwn yr ymogoneddaf ynot.
Eph 1 6 Ioan 15 8 4 l Minne a ddywedais, Yn ofer y blinais, yn
lIoan 1 11 Mat 17 17 ofer, ac yn ddiwin y treuliais fy nerth: er hyn-
a 23 37 1Cor. 3 8 ny [y mae] fy marn gyd â'r Arglwydd, a'm gwaith
gyd â'm Duw.
mMat 23 37 5 m Ac yn awr medd yr Arglwydd, yr hwn
Ioan 5 30 a'm lluniodd o'r grôth yn was iddo, i ddychwel-
Mat. 11 25 yd Iacob atto ef, er nad ymgascle Israel, etto
gogoneddus fyddafi yng-olwg yr Arglwydd, a'm
Duw fydd fy nerth,
6 n Ie dywedodd, Gwael yw dy fod yn was i
n Act. 13 47 mi, i gyfodi llwythau Iacob, ac i ddychwelyd
a 22 21 rhai cadwedic Israel, am hynny i'th roddais yn
oleuni y cenhedloedd fel y byddit fy iechydwr-
iaeth mau fi hyd eithaf y ddaiar.
7 o Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, gwared-
o Mat 27 2 udd Israel, ai Sanct, am y dirmygedic o'enaid,
Sal 21 2 Mat 26 67 am genhedlaeth ffiaidd, am was llywodraeth-
Sal 72 10 wyr, brenhinoedd a welant, ac a gyfodant, ty-
wysogion hefyd a ymgrymmant [iddo,] er mwyn
yr Arglwydd yr hwn [sydd] ffyddlon, Sanct
Israel yr hwn a'th ddewisodd di.
p 2Cor 6 2 8 p Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Mewn
Ioan 11 42 amser bodlon-gar i'th wrandewais, ac yn nydd
Heb 7, 12 iechydwriaeth i'th gynnorthwyais, am hynny
i'th gadwaf, ac i'th roddaf yn gyfammod pobl, i
siccrhau y ddaiar, i beri etifeddu etifeddiaethau
anghyfanneddol,
q Ioan 8 36 9 q Gan ddywedyd wrth y carcharorion, Ewch
allan, ac wrth y rhai [fyddant] mewn tywyll-
wch, Ymddangoswch, ar y ffyrdd y porant, ac
yn yr holl riwiau [y bydd] ei porfa hwynt.
10 r Ni newynant, ac ni sychedant, ac ni's rDat 7 16
teru gwrês, na haul hwynt: o herwydd [un] a
dosturia wrthynt, ai tywys, ac ai harwein i ffyn-
honnau dyfroedd.
11 Yna y gosodaf fy holl fynyddoedd yn
ffordd, a'm priffyrdd a gyfodir.
12 s Wele y rhai hyn a ddeuant o bell, ac wele sDat 6 12
y rhai accw o'r gogledd, ac o'r gorllewin: a'r Gen [illegible]
rhai ymma o dir Sinim.
13 t Cenwch nefoedd, a gorfoledda ddaiar, tDat [illegible]
bloeddiwch ganu y mynyddoedd, canys yr Ar-
glwydd a gyssurodd ei bobl, ac a drugarhâ wrth
ei drueniaid.
14 Etto dywedodd Sïon, Yr Arglwydd a'm
gwrthododd, a'r Arglwydd a'm anghofiodd.
15 u A anghofia gwraig ei phlentyn sugno? uMat 7 11
fel na thosturio wrth fab ei chrôth? pe anghofie 1 Bren 3 26
y rhai hyn, etto myfi nid anghofiwn di. Galat 4 3
16 v Wele ar gledr [fy] nwylo i'th scrifennais, Rhuf 9,6 7 a11, 29
dy furiau [ydynt] ger fy mron bob amser. vCan 8 6
17 Dy adailad-wyr a fryssiasant, y rhai a'th 2Cor 3, 3
ddinistriant, ac a'th ddestruwiant a ânt ym- Dat 21 13 21 Zec 13 3
maith oddi wrthit.
18 w Dercha dy lygaid oddi amgylch, ac ed- wDat 21 6
rych, hwynt oll a ymgasclasant, [ac] a ddaeth-
ant attat: [os] byw fi medd yr Arglwydd, diau
y gwisci hwynt oll fel hardd-wisc, ac yr ym-
wregysi di â hwynt fel priod-ferch.
19 x Canys dy ddiffaithwch, a'th anialwch a'th x Luc 19 43
dir dinystriol yn ddiau fydd yn awr yn rhy Hos 1 11
gyfyng iw bresswyl-wyr: a'r rhai a'th lyngcant Dat 21 27 a 25
a ymbellhânt.
20 y Plant dy rai di-heppil, a ddywedant lle y Zec 10, 10
y clywech, Cyfyng yw y lle hwn i mi, nessa Mat 3 9 a 8 11
oddi wrthif fel y presswyliwyf. Rhuf 11 15, 25
21 z Yna y dywedi yn dy galon, Pwy a gen- z 1 Pedr
hedlodd y rhai hyn i mi? am fi yn ddi-heppil, 1 23
ac yn unic, yn gaeth, ac ar engcil: a phwy a
fagodd y rhai hyn? wele myfi a adawyd fy
hunan, o ba le y [daeth] y rhai hyn?
22 a Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd aMal 1 11
Dduw, Wele cyfodaf fy llaw ar genhedloedd, a Rhuf 15 9
derchafaf fy maner ar bobloedd, fel y dygant dy
feibion yn eu monwes, ac y cluder dy ferched
ar yscwyddau.
23 b Brenhinoedd hefyd a fyddant dy dad- bSal 72 9
maethod, ai brenhinesau dy famnaethod: crym-
mant it eu hwynebau [hyd] lawr, a llyfant lwch
dy draed, a chei wybod mai myfi [yw'r] Ar-
glwydd, canys ni chywilyddir y rhai a ymddyr-
iedant ynofi.
24 A ddygir y caffaeliad oddi ar y cadarn? cLuc 11, 21, 22
neu a ddiangc y rhai a garcherir yn gyfiawn? Mat 12 29
25 c Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd,

lë, carcharorion y cadarn a ddygir, ac anrhaith
y creulon a ddiangc: canys myfi a ymrysonaf
a'th ymrysonydd, ac myfi a achubaf dy feibion.
dDat.14, 26 [d] Gwnaf hefyd i'th orthrym-wyr fwytta eu
20 a 16. 6 Sal. 9. 16 cig eu hunain, ac ar eu gwaed eu hun y meddw-
ant fel ar win, fel y gwypo pob cnawd mai
myfi'r Arglwydd [ydwyf] dy achubudd, a'th
gadarn waredudd di Iacob.

## PEN. L.

*Yr Iddewon yn gwrthod Crist yn ddiachos, ei nerth, ei ddioddefaint, ai oruchafiaeth yntef.*

e Deut. FEL [e] hyn y dywedodd yr Arglwydd, Pa le
24. 1 Ier. 3, 8 y mae llythyr ysgar eich mam, [trwy]'r hwn
Mat. 18, 25 y gollyngais hi ymaith? neu pwy o'm dyledwyr
Hos. 2, 2 y gwerthais chwi iddo? wele i'ch anwireddau y
gwerthwyd chwi, ac am eich camweddau y
gollyngwyd ymaith eich mam.
f Eph. 2, 17 2 [f] Pa ham y deuthum, ac na [dderbyniodd]
Ioan 1, 11 neb? y gelwais, ac nad attebodd [neb?] ai fy llaw
Num. 11, 23 gan gwttogi a gwttogodd fel na alle ymwared?
onid [oes] ynof nerth i achub? wele a'm cerydd
y sychais y mor, gosodais yr afonydd yn ddiff-
aethwch, eu pyscod a ddrewant o eisiau dwfr,
ac a fyddant feirw o syched.
3 Gwiscaf y nefoedd â thywyllwch, a gosodaf
sachliain yn dô iddynt.
g Col. 2, 3 4 [g] Yr Arglwydd a roddes i'm dafod dyscedig,
Diar. 25, 11 i fedru mewn pryd lefaru gair i'r deffygiol, deff-
Ioan 7, 15 ru fi bob boreu, deffru i'm glust i glywed megis
rhai dyscedic.
h Sal. 40. 6 5 [h] Yr Arglwydd Dduw a agorodd fyng-hlust,
Phil. 2, 8 a minne ni wrthwynebais, [ac] ni chiliais yn [fy]ol.
i Mat. 26, 67 6 [i] Fyng-horph a roddais i'r cur-wyr, a'm
cernau i'r cernod-wyr, ni chuddiais fy wyneb
oddi wrth wradwydd, a phoeredd.
j Heb. 5. 7 7 [j] O herwydd yr Arglwydd Dduw a'm cym-
Rhuf. 1, 16 morth, am hynny ni'm cywilyddiwyd, am hyn-
1 Pedr 4, 15 ny gosodais fy wyneb fel callestr am y gwydd-
wn na'm cywilyddid.
k Rhuf. 8, 33 8 [k] Agos [yw]'r hwn a'm cyfiawnhâ, pwy a
Ex. 22, 9 1 Cor. 4. 4 ymryson â mi? safant yng-hyd, pwy a ym-
1 Pedr 3, gyfreithia â mi nessaed attaf.
l Sal. 102, 26 9 [l] Wele'r Arglwydd Dduw a'm cynnorthwy,
a phwy [yw]'r hwn am anghyfiawnhâ? wele
hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn, gwyfyn ai
hyssa hwynt.
m Mal. 3, 16 10 [m] Pwy yn eich mysc sydd yn ofni'r Arg-
Ioan 10, 4 2 Cron. 20, 20 lwydd? gwrandawer llais ei was ef, yr hwn a
rodiodd [mewn] tywyllwch, ac heb lewyrch
1 Pedr 5, 7 iddo, gobeithied yn enw'r Arglwydd, ac ym-
ddyried yn ei Dduw.
n Sal. 20, 7 a 16, 4 11 [n] Wele chwi oll yn cynneu tân [ac] yn ym-
wregyssu â gwreichion: rhodiwch wrth le-
wyrch eich tân, ac wrth y gwreichion a gynneu-
asoch, o'm llaw i y mae hyn i chwi, mewn gofid
y gorweddwch.

## PEN. LI.

*Cyngor i'r Iddewon i edifarhau, ac addewidion cyssurol i Sion ac Ierusalem.*

GWRANDEWCH [o] arnafi ddilyn-wyr o Phil 3, 9
cyfiawnder, y rhai a geisiwch yr Arg- Rhuf. 4, 19
lwydd edrychwch ar y graig i'ch naddwyd, ac
ar geudod y ffôs i'ch cloddiwyd [o honynt.]
2 [p] Edrychwch ar Abraham eich tad, ac ar p Rhuf. 15, 4
Sara a'ch hescorodd, canys ei hunan y gelwais Gen. 15, 2
ef, yna y bendithiais, ac yr amlheuais ef, 3 Act. 2, 39
3 [q] Am hynny yr Arglwydd a gyssura Sion, q Sal. 102, 3
efe a gyssurodd ei holl ddinistr hi, gosododd Rhuf. 11,
hefyd ei hanialwch hi fel Paradwys, ai rhossydd 11
fel gardd yr Arglwydd: ceir ynddi lawenydd
ac hyfrydwch, moliant a llais cân.
4 [r] Gwrandewch arnaf fy mhobl, clust-ym- r Luc. 2,
wrandewch â mi fyng-henedl, canys cyfraith a 32
aiff allan oddi wrthif, a gosodaf fy marn yn
oleuni pobloedd.
5 [s] Agos yw fyng-hyfiawnder, fy iechydwr- s 1 Thes. 5, 24
iaeth a aeth allan, fy mreichiau a farnant bobl- 2 Thes 1, 6, 7
oedd: ynysoedd a obeithiant ynof, ac a ym- Rhuf. 1,
ddyriedant [yn] fy nerth. 16
6 [t] Derchefwch eich llygaid tua'r nefoedd, ac t 2 Pedr 3, 10
edrychwch ar y ddaiar issod, canys y nefoedd Ioan 3, 16
a ddarfyddant fel mwg, a'r ddaiar a heneiddia a 10, 28
fel dilledyn, ai phresswyl-wyr yr un modd fydd-
ant meirw: ond fy iechydwriaeth i a fydd byth,
a'm cyfiawnder ni dderfydd.
7 [u] Gwrandewch arnaf y rhai a adwaenoch u Sal. 37, 31
gyfiawnder, pobl a'm cyfraith yn eu calon: nac Luc 12, 4
ofnwch warthrudd dyn, ac nac arswydwch rhac Act. 5, 40
eu coddiant.
8 Canys y pryf ai bwytta fel dilledyn, a'r
gwyfyn ai hyssa fel gwlân: eithr fyng-hyfiawn-
der nau fi a fydd yn dragywydd, a'm iechyd-
wriaeth hyd yn oes oesoedd.
9 [v] Deffro, deffro fraich yr Arglwydd gwisc v Sal. 44, 23
nerth, deffro fel y dyddiau gynt, [er yr] oesoedd Dat. 11, 17
tragywyddol: onid ti [yw]'r hwn a dorraist y Ex. 14, 21
balch, [ac] a archollaist y ddraig? Hab. 3, 13
10 [w] Onid ti [yw]'r hwn a sychaist y môr, [a] w Ex. 14,
dyfroedd y dyfnder mawr, yr hwn a osodaist 21
ddyfnderoedd y môr yn ffordd fel yr ele y
gwaredigion trwodd
11 [x] Felly y dychwel gwaredigion yr Arg- x Dat. 14, 3
lwydd, a hwynt a ddeuant i Sion â chân, ac 2 Tim. 4,
â llawenydd tragywyddol yn eu pennau, go- 8
ddiweddant lawenydd, ac hyfrydwch: gofid a
griddfan a ffoant ymmaith.
12 [y] Myfi myfi [ydwyf] yr hwn a'ch diddana y 2 Cor. 1, 3
chwi, Pwy [wyt] ti a ofni rhac dyn [yr hwn] Sal. 90, 5
fydd marw? a rhac mab dyn [yr hwn] a roddir 1 Pedr 1,
fel gwelltyn? 24

PEN. L. Adn. 1.] Ysgar. Nid oedd Duw yn ysgar â'i bobl, fel Iuddew â'i wraig, am bob bai; er na chyd-deithiodd â'r godinebus, fe dderbyniodd yr edifarus. Pen. liv, 7. Ier. iii. 14.

z Sal. 9,5 6 a 76,10 13 z Ac yr anghofiaist yr Arglwydd dy wneuth-
1 Cor. 1, 20 urwr, yr hwn a estynnodd y nefoedd, ac a seil-
Iob.21,28 iodd y ddaiar, ac yr ofnaist bob dydd yn wastad
rhac llid y gorthrymmudd, pan ddarpare i
ddinistrio? etto pa le [y mae] llid y gorthrym-
mudd?
a Zec. 9, 11 Ier.37,21 14 a Y carcharor sydd yn bryssio i gael ei
ollwng yn rhydd fel na byddo efe farw yng-
harchar, ac na phallo ei fara ef.
b Ier. 31, 35 15 b Myfi hefyd [ydwyf] yr Arglwydd dy
Dduw yr hwn a barthodd y môr pan ruodd ei
dônau: ei enw [yw] Arglwydd y lluoedd.
c Ioan 3, 34 Eph.1,10 16 c Gosodais hefyd fyng eiriau yn dy enau,
ac â chyscod fy llaw i'th doais, fel y plannwn
y nefoedd, ac y seiliwn y ddaiar, ac y dywed-
wn wrth Sïon, fy mhobl mau fi [ydwyt] ti.
d 1 Cor 15 54 Gal. 4,26 1 Pedr 4, 17 17 d Deffro, deffro, cyfot Ierusalem, yr hon
a yfaist o law'r Arglwydd gwppan ei lidiawg-
rwydd ef: yfaist [a] sugnaist waddod cwppan
erchyll.
e Mat. 9, 36 a 15.14 18 e Nid [oes] arweinydd iddi o'r holl feibion
a escorodd, ac nid [oes] a ymaflo yn ei llaw
o'r holl feibion a fagodd.
f Iob 2,11 19 f Y ddau beth hyn a ddigwyddasant it,
Pwy a ofidia trosot, dinistr, a destryw, a newyn,
a chleddyf, [trwy] bwy i'th gyssuraf?
g Galar.1 21, 12 20 g Dy feibion a lewygasant, gorweddasant
ym mhen pob heol fel ŷch gwyllt [mewn] magl,
yn llawn o lidiawgrwydd yr Arglwydd, [a]
cherydd dy Dduw.
h Galar.3 15 21 h Am hynny gwrando fi yn awr, O druan,
yr hon a feddwodd hefyd, ac nid [trwy] wîn.
i Ier. 50, 34 a 25, 26 22 i Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw,
sef dy Dduw di [yr hwn] a ddadle [tros] ei bobl:
Wele cymmerais o'th law y cwppan erchyll, sef
gwaddod cwppan fy llidiawgrwydd ni chwanegi
yfed mwy.
j Diar. 11 8 a 21, 8 23 j Eithr rhoddaf ef yn llaw dy orthrym-wyr,
y rhai a ddywedasant wrth dy enaid, Gostwng
fel yr elom trosot [ti:] a thi a osodaist dy gorph
fel daiar, ac fel heol i'r rhai a elent trosto ef.

## PEN. LII.

*Cyssur i bobl Dduw o gydrycholdeb Crist.*

k Dat.15, 6 Sal.79, 1 Dat. 21, 27 DEFFRO, k deffro, gwisc dy nerth Sïon,
gwisc wiscoedd dy ogoniant, sanctaidd
ddinas Ierusalem: canys ni ddaw ynot mwy
ddienwaededic, nac aflan.
l Dat.3,21 Zec. 2, 7 Dat. 14,5 2 l Ymescwyt o'r llŵch, cyfot, eistedd Ieru-
salem, dattot rwymau dy wddf [ti] gaeth-ferch
Sïon.
m 1 Pedr 1, 18 3 m Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd,
Yn rhad i'ch gwerthwyd, ac nid ag arian i'ch
gwaredir.
n Galar.3 53 4 n Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd
Dduw, Fy mhobl aeth i wared i'r Aipht yn y
dechreuad i ymdaith yno: Assur hefyd ai gorth-
rymmodd yn ddiachos.
5 o Ac yn awr beth [sydd] ymma i mi medd o Mat. 1, 17
yr Arglwydd? canys dygwyd fy mhobl yn
rhad, eu llywodraethwyr a wnant [iddynt] ŵylo
medd yr Arglwydd: a phob dydd yn wastad y
ceblir fy enw.
6 p Am hynny y caiff fy mhobl adnabod fy p Sal 9,10
enw, am hynny [y cant wybod] y dydd hwnnw,
mai myfi [ydwyf] yr hwn sy'n dywedyd, Wele
fi.
7 q Morr weddaidd ar y mynyddoedd [yw] q Rhuf. 10, 15
traed yr hwn sydd yn mynegu [ac] yn cyhoeddi Luc 2, 14
heddwch? a'r hwn sydd yn mynegu daioni, yn Mic 4, 7
cyhoeddi iechydwriaeth, [ac] yn dywedyd wrth
Sïon, Dy Dduw di sydd yn teyrnasu.
8 r Llef dy wil-wyr [a glywir,] derchafant lef, r Esa. 1, 17
cyd-ganant, canys gwelant yn eglur pan ddych- Dat. 14, 1
welo'r Arglwydd Sïon. 1 Ioan 3, 2
9 Bloeddiwch, cyd-genwch diffaethwch Ieru-
salem, canys yr Arglwydd a gyssurodd ei bobl,
[ac] a waredodd Ierusalem.
10 s Dioscodd yr Arglwydd fraich ei sanct- s Mat. 28, 19
eiddrwydd yng-olwg yr holl genhedloedd, a
holl gyrrau'r ddaiar a welent iechydwriaeth ein
Duw ni.
11 t Ciliwch, ciliwch, ewch allan oddi yno, na t Dat. 18, 4 a 1, 6
chyffyrddwch a'r halogedic, ewch allan oi
chanol, ymlanhewch y rhai a arweiniwch lestri'r
Arglwydd.
12 u Canys nid ar frys yr ewch allan, ac nid u Ex. 1, 8 38
ar ffo y cerddwch, eithr yr Arglwydd a aiff o'ch a 13, 21
blaen chwi, a Duw Israel a'ch cascl chwi.
13 v Wele fyng-was a lwydda, a godir, a dder- v Ier. 23, 5 Phil. 2, 9
chefir, ac a fydd uchel iawn.
14 w Megis y rhyfeddodd llawer wrthit, morr w Mat. 4, 20
llygredic [oedd] ei wedd yn anad neb, ai bryd Sal. 45, 6
ef yn anad meibion dynion:
15 x Felly y gwascar efe genhedloedd lawer, x Act. 2, 38
brenhinoedd a gaeant eu genau wrtho ef, am Rhuf. 15, 20, 21
weled o honynt yr hyn ni fynegasid iddynt, a
deall o honynt yr hyn ni chlywsent.

## PEN. LIII.

*Prophwydoliaeth, na chrede'r Iddewon i Grist o herwydd gwaeled yr olwg arno: a maint y gwrthwyneb iddo: gan ddangos y bydde hyn oll er ein mwyn ni, ac y troent yn ogoniant i Grist.*

PWY y a gredodd i'n ymadrodd? ac i bwy y Rhuf. 1, 16
y datcuddiwyd braich yr Arglwydd? 1 Cor. 1, 18
2 z Canys cyfyd oi flaen ef fel blaguryn, ac fel z Mat. 27, 39
gwreiddin o dîr sychedic, heb bryd na thegwch
iddo: pan edrychom ni arno ef ni bydd pryd
fel y dymunem ef.
3 a Dirmygedic oedd, a gwaelaf o'r gwŷr, a Luc 23, 14
gŵr gofidus, a chynnefin â dolur, a [phob un] Heb 4, 15
megis yn cuddio oi wyneb oddi wrtho: dirmyg- Ioan 1, 10 a 7, 48
edic oedd, ac ni wnaethant gyfrif o honaw.

h 1 Pedr 2, 4 [b] D'iau efe a gymmerth ein gwendid ni, ac
24 Act. 28,4 a ddug ein doluriau: etto ni ai cyfrifasom ef
wedi ei blagio, ei daro, ai ddarostwng o Dduw.
c Rhuf. 4, 5 [c] Ac ef a archollwyd am ein camweddau ni,
25 ac a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cosp-
edigaeth ein heddwch ni [a roddwyd] arno ef, a
thrwy ei gleisiau ef yr iachauwyd ni.
d 1 Pedr 6 [d] Nyni oll a gyrwydrasom fel dafad, troesom
2, 15 Iago 5,20 bawb iw ffordd ei hun, a'r Arglwydd a roddes
Heb. 9,14 1 Pedr 3, yn ei erbyn ef ein holl anwiredd ni.
18 Rhuf. 5,9 7 [e] Efe a orthrymmwyd, ac efe a gystudd-
e Act. 8, iwyd, ac nid agore ei enau, fel oen yr arweinid
32 1 Pedr. 2, i'r lladdfa, fel dafad o flaen y rhai ai cneifie y
23 Ioan 1,19 tawe ac nid agore ei enau.
29 f Dat. 7,9 8 [f] O garchar, ac o farn y dygwyd ef, etto
2 Cor. 5,7 pwy a draetha ei oes ef? canys ef a dorrwyd o
dir y rhai byw, [rhoddwyd] pla arno ef am
gamwedd fy mhobl.
g Act. 2, 9 [g] Ac efe a roddes ei fedd gyd a'r rhai anwir,
23 1 Pedr 2, a chyd a'r cyfoethog yn ei farwolaeth: er na
22 wnaethe gam, ac nad [oedd] twyll yn ei enau.
h Ioan 3, 10 [h] Eithr yr Arglwydd a fynne ei ddryllio ef,
7 2 Cor. 5, [ac] ai clwyfodd, pan osodo ei enaid yn aberth
21 Col. 2,15 dros bechod, efe a wel hâd, ac a estyn ddydd-
Dat. 17,14 iau: ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn ei
law ef.
Ioan 17,4 11 [i] O lafur ei enaid y gwêl, [ffrwyth, ac] y
diwellir, fyng-wâs cyfiawn a gyfiawnha lawer
trwy ei wybodaeth, ac efe a ddwg eu hanwiredd.
Sal. 2, 8 12 [k] Am hynny y rhoddaf iddo rann gydâ lla-
Col. 2,15 Luc 23,34 wer, ac efe a ranna'r yspail gyd a'r cedyrn, am
iddo dywallt ei enaid i farwolaeth, ai gyfrif gyd
a'r trosedd-wŷr: ac efe a dynnodd ymmaith
bechodau llaweroedd, ac a eiriolodd dros y
trosedd-wŷr.

## PEN. LIV.

*Duw yn addo helaethu ei eglwys. 4 Maddeu ei phechodau. 11 A rhoddi iddi hi ogoniant, ac ar ei gelynion ddinistr.*

Gal. 4, CAN [l] [di] amhlantadwy heb escor, bloedd-
1 Pedr 1, ia ganu, a gorfoledda [yr hon] nid escor-
Rhuf. 9, odd: o herwydd amlach meibion yr anrhaithied-
26,27, 30 ic na'r wriog medd yr Arglwydd.
Sal. 78,8 2 [l] Helaetha lê dy babell, ac estynned cortyn-
Ioan 7,14 au dy bresswylfeudd, nac attal: estyn dy raffau,
cadarnhâ dy hoelion.
3 Canys ti a amlheuir tu a'r llaw ddehau, a
thua'r llaw asswy, a'th hâd a orescyn y cenhedl-
oedd, a dinasoedd anrhaithiedic a gyfannedd-
ant hwy.
Ioan 16 4 [m] Nac ofna, canys ni'th gywilyddir, ac ni'th
Heb. 11, waradwyddir, ac ni'th warthruddir, eithr anghofi
37 waradwydd dy ieuengctid, a gwarthrudd dy
weddwdod ni chofi mwyach.
Hos. 2, 5 [n] Canys dy briod [yw'r] hwn a'th wnaeth, Ar-
Iud. 21 glwydd y lluoedd [yw] ei enw: dy waredudd he-
Ioan 2,44 fyd Sanct Israel a elwir Duw'r holl ddaiar.

6 [o] Canys fel gwraig wrthodedic, ia chystudd- o Hos. 11,
iedic o yspryd i'th alwodd yr Arglwydd, ac fel 1 1 Pedr 2,
gwraig ieuangc pan oeddit ti wrthodedic medd 9 Ier. 2, 2
dy Dduw. Ezec. 16, 8
7 Tros ennyd fechan i'th adewais, ond â mawr
drugaredd i'th gasclaf.
8 [p] Mewn ychydig sorriant y cuddiaist fy wy- p Deut.
neb oddi wrthit ennyd [awr,] ond â thrugaredd 32, 20 Ier. 31, 3
dragywyddol y trugarheais wrthit medd yr Ar-
glwydd dy waredudd.
9 [q] Canys [fel] dyfroedd Noah [y mae] hynn q Gen. 9,
i mi, megis y tyngais nad ele dyfroedd Noah 11
mwy dros y ddaiar: felly y tyngais na sorraf
wrthit, ac na'th geryddaf.
10 [r] Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryn- r Tit. 3, 5
nau a siglant: eithr fy nhrugaredd nai fi ni chil- Eph. 2,1, 5
ia, a chyfammod fy hedd ni syfl medd dy dru-
garog Arglwydd.
11 [s] Y druan helbulus ddigyssur, wele mi a'th s Dat. 12, 6
furiaf di â Charbunculus, ac a'th sylfaenaf â 1 Pedr 2,
[meini] Saphyr. 5 Dat. 21,19
12 Gosodaf hefyd dy ffenestri o rissial, a'th
byrth o feini disclair, a'th holl derfyn â cherric
dymunol.
13 [t] Dy holl feibion hefyd [fyddant] wedi eu t Ier. 31,
dyscu gan yr Arglwydd, a mawr [fydd] hedd- 34 Sal. 119,
wch dy feibion. 165
14 [u] Mewn cyfiawnder i'th siccrheuir, cilia u Sal. 11,
ym mhell oddi wrth orthrymder canys nid ofni, 7 Mat. 16,
ac oddi wrth ddychryn, canys ni nessâ attat. 18
15 [v] Wele [pwy bynnac] gan ymgasclu a ym- v Dat. 16,
gasclo [i'th erbyn] ni [bydd efe] o honofi: pwy 13
bynnac o honot ti a ymgasclo i'th erbyn efe a
syrth.
16 [w] Wele myfi a greais y gof, yr hwn a chwytha w Ioan 19,
y marwor yn tân, ac efe a ddefnyddia arf oi 11 Mat. 9,9
waith ei hun: myfi hefyd a greais y dinistrudd
i ddestruwio.
17 [x] Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn, x Sal. 2,1,
a thi a orchfygi bob [tafod a gyfodo i'th erbyn 2 Rhuf. 8,
mewn barn: dymma etifeddiaeth gweision yr 33 Act. 6.11
Arglwydd, ai cyfiawnder hwynt [sydd] oddi Mat. 26,
wrthifi medd yr Arglwydd. 20

## PEN. LV.

*Duw yn annog y bobl i ffydd, ac i edifeirwch trwy ei efangylaidd addewidion.*

O [y] DEUWCH i'r dyfroedd bob un y mae y Ioan 4,
sychedarno, ïe yr hwn nid [oes] arian gan- 10 Act. 8,20
ddo, deuwch, prynwch, a bwyttewch, ïe deu- Mat. 13,
wch prynwch wîn, a llaeth heb arian, ac heb 44
werth.
2 [z] Pa ham y telwch arian am [yr hyn] nid z Phil. 3,4
[ydyw] fara? a'ch llafur am [yr hyn] nid [yw] yn 5
ddigonoldeb? gan wrando gwrandewch arnafi,
a bwyttewch yr hyn sydd dda: ac ymhyfryded
eich enaid mewn brasder.

aMat.11, 28 3 a Gogwyddwch eich clustiau, a deuwch at-
Rhuf.11, 29 taf, gwrandewch fel y byddo byw eich enaid,
Hos. 3, 5 ac mi a wnâf gyfammod tragywyddawl a chwi
[sef] siccr drugareddau Dafydd.
b Ioan 7, 16 4 b Wele rhoddais ef yn dyst i'r bobl, yn flaen-
Mat. 2, 6 or, ac yn athro i'r bobloedd.
a 17. 5 c Eph. 2, 11 5 c Wele cenedl nid adweini a elwi, a chen-
Rhuf.1,4 hedlaeth nid adwaenant ti a redant attat, er
mwyn yr Arglwydd dy Dduw, ac o herwydd
Sanct Israel: canys efe a'th ogoneddodd.
d Sal.32,6 Mat. 25 11 6 d Ceisiwch yr Arglwydd tra y caffer ef, gel
wch arno tra fyddo yn agos.
e Ier.4 14, Zec. 8 17 7 e Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr an-
Sal. 130 7 wir ei amcannion, a dychweled at yr Arglwydd,
ac efe a gymmer drugaredd arno, ac at ein Duw
ni o herwydd y mae efe yn barod iawn i faddeu.
f Ier. 31. 12 8 f Canys nid fy amcannion i [yw] eich am-
Iago 3 17 cannion chwi, ac nid eich ffyrdd chwi [yw] fy
Rhuf. 1 31 ffyrdd i medd yr Arglwydd.
Mat 18 18 g Sal. 103 11 9 g Canys [fel] y mae'r nefoedd yn uwch na'r
ddaiar, felly uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd
Ier. 29 11 chwi, a'm amcannion i na'ch amcannion chwi.
h Deut. 32 2 10 h Canys fel y descyn y glaw, a'r eira o'r nef-
Heb. 6 7 oedd, ac ni ddychwel yno, eithr dwfrhâ y
2 Cor. 9 10 ddaiar, ac a wna iddi darddu a thyfu fel y rho-
ddo hâd i'r hau-wr, a bara i'r bwytta-wr:
i 2 Tim. 2 9 11 i Felly y bydd fyng-air yr hwn a ddaw o'm
genau ni ddychwel attaf yn wâg: eithr efe a wna
yr hyn a fynnwyf, ac a lwydda lle'r anfonwyf ef.
j Sal 96 11 12 j Canys mewn llawenydd yr ewch allan, ac
mewn hedd i'ch arweinir [i mewn,] y mynydd-
oedd a'r bryniau a floeddiant ganu o'ch blaen,
a holl goed y maes a gurant ddwylo.
13 Yn lle drain y cyfyd ffynnid-wydd, yn lle
danadl y cyfyd myrt-wydd, a [hyn] fydd i'r Ar
glwydd yn enw, ac yn arwydd tragywyddol yr
hwn ni thorrir.

## PEN. LVI.

*Cyngor i ddilyn barn, a chyfiawnder, a chrefydd, bygwth ar fugeiliaid drwg.*

k Rhuf. 1 17 FEL k hyn y dywedodd yr Arglwydd, ced-
wch farn a gwnewch gyfiawnder, canys
fy iechydwriaeth [sydd] ar ddyfod, a'm cyfiawn-
der ar ymddangos.
l Sal 15 5 Ier. 7 21 2 l Gwyn ei fyd y dyn a wnelo hyn, a mâb y
dyn a ymafelo yn hyn, gan gadw'r Sabboth heb
ei halogi, a chadw ei law rhac gwneuthur dim
drwg.
m Act. 10 34 3 m Ac na lefared y dieithr-fab yr hwn a lyno
wrth yr Arglwydd gan ddywedyd, Yr Ar-
1 Cor. 12 Act. 11 2 glwydd gan ddidoli a'm didolodd oddi wrth ei
bobl, ac na ddyweded y dispaddedic, Wele fi
yn bren crîn.
n Act. 8 37 4 n Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd
Mica 7 8 wrth y rhai dispaddedic, Y rhai a gadwant fy
Sabbothau, ac a ddewisant yr hyn a ewyllys-
iwyf, ac a ymafelant yn fyng-hyfammod.
5 o Rhoddaf iddynt yn fy nhŷ, ac o fewn fy o 1 Thes. 4 13
magwyrydd lê, ac enw gwell na meibion, ac na Mat 16
merched: rhoddaf iddynt enw tragywyddol yr Ioan 1
hwn ni dderfydd. 1 Ioan 1
6 p A'r meibion dieithr y rhai a lynant wrth p Act 11
yr Arglwydd gan ei wasanaethu ef, a chan garu 1 Thes
enw'r Arglwydd, a chan fod yn weision iddo ef
pob un yn cadw Sabboth heb ei halogi, ac a
ymaflo yn fyng-hyfammod,
7 q Dygaf hwynt hefyd i fynydd fy sancteidd- q Mat 6
rwydd, a llawenychaf hwynt yn nhŷ fyng- Rhuf 1
weddi: eu poeth offrymmau hefyd ai hebyrth Mat 1 3
fyddant gymmeradwy ar fy allor: canys fy nhŷ Mal 1 11
mau fi a elwir yn dŷ gweddi i'r holl bobloedd.
8 r Medd yr Arglwydd Dduw yr hwn a gascl r Pedr 1
wascaredigion Israel, etto mi a gasclaf attynt Ioan 6
hwy rhai y sy iw casclu attynt.
9 s Pob bwyst-fil y maes, a phob bwyst-fil yn s Dat 19
y coed deuwch i ddifa. 14
10 t Deillion [yw] ei wiliedyddion, ni wydd- t Mat 15
ant hwy oll [ddim,] cŵn mudion [ydynt] hwy 14 Hos 4
oll heb allu cyfarth: y maent yn cyscu, yn Mic 3
gorwedd, [ac] yn caru heppian. 6
11 u Ië y cŵn creulon ni chydnabyddant ei u Mic 3
digon, a'r bugeiliaid hwythau ni fedrant ddeall, 11 Rhuf 16
troesant hwy oll iw ffordd eu hun: pob un at ei 18
elw ei hun oi cwrr.
12 v Deuwch [meddant,] cymmerwn wîn, ac v Mic 2 11
ymlawnwn o ddiod gref, a bydded y foru megis Luc 12
heddyw [neu] fwy o lawer iawn. 19

## PEN. LVII.

*Marwolaeth y duwiol. 3 Cerydd yr annuwiol. 18 Cysur yr edifeiriol.*

DARFU w am y cyfiawn, ac nid ystyriodd w Sal 12 1
neb, a'r gŵr trugarog a gasclwyd ym- Mic 7 2 2 Bren 22
maith, heb ddeall mai o flaen drygfyd y cascl- 20 1 Ioan 1
wyd y cyfiawn. 8
2 x [Y cyfiawn] a ddaw i dangneddyf, hwynt x Luc 16
a orphwysant yn eu stafelloedd [sef pob un] ar Preg 6
a rodiodd ger ei fron ef. 7
3 y Nessewch ymma meibion yr hudoles hâd y Mat 16
y godinebus, a'r buttain. 4
4 Yn erbyn pwy'r ymddigrifwch, yn erbyn
pwy y lledwch safn [ac] yr estynnwch dafod?
onid meibion camweddol, a hâd geuoc [ydych]
chwi? z Mat 6
5 z Y rhai a ymwressogwch ym myse y llwyni 6 Sal 106
tann bob pren deilioc, gan aberthu y plant yn 35 Ier 19
y glynnoedd, tann gromlechydd y creigiau. Ier 2 19
6 b Yng-habolfaen yr afon [y mae] dy ran, 10 Ezec 20
hwynt hwy [ydynt] dy goel-bren: iddynt hwy 39 c Ezec 16
hefyd y tywelltaist ddiod offrwm, [ac] yr off- 24 d Deut 6
rymmaist fwyd offrwm, ai am y rhai hyn yr 9 Ier 1 8
ymgyssuraf? Deut 7 2
7 e Ar fynydd uchel a derchafedic y gosodaist Ezec 16 25

dy wely, dringaist hefyd yno i aberthu aberth.
8 Yng-hîl y drws hefyd, a'r orsyn: y gossod-
aist dy goffadwriaeth: canys ymddinoethaist
oddi wrthif fi, a dringaist, helaethaist dy wely,
a thi a wnaethost ammod rhyngot ti â hwynt,
ti a hoffaist eu gorweddle hwynt [ym mhob] lle
ar y gwelaist.
Ezec.16 9 • Cyfeiriaist hefyd at y brenin ag olew, ac
33 amlheaist dy eli'au: anfonaist hefyd dy gennad-
au i bell, ac ymostyngaist hyd uffern.
Ier.2,36 10 f Yn amlder dy ffordd yr ymflinaist heb
2,25 Hos.5,13 ddywedyd, Nid oes obaith, cefaist y bywyd a
fynnit, am hynny ni chlafychaist.
g Sal.50, 11 g Pwy hefyd a arswydaist, ac a ofnaist?
21 gan ddywedyd o honot gelwydd, ac na chof-
iaist fi, ac nac ystyriaist fi yn dy galon, ai o
herwydd fy mod i yn tewi a son er ystalm yr
ydwyt ti heb fy ofni?
h Rhuf.6, 12 h Myfi a fynegaf dy gyfiawnder a'th weith-
21 redoedd, ac ni wnant it lês,
Sal.... 13 i Pan waeddech, gwareded y rhai a gesclaist
Iarn.10, yng-hyd dy di, eithr gwynt ai dwg hwynt ym-
...c.17,7 Sal.37,3 maith oll, oferedd ai cymmer hwynt: a'r hwn a
obeithia ynofi a etifedda y tîr, ac a feddianna
fynydd fy sancteiddrwydd.
14 Ac efe a ddywed, Palmentwch, palment-
wch, cymhwyswch y ffordd, cyfodwch y
rhwystr o ffordd fy mhobl.
1Tim.1, 15 j Canys fel hyn y dywedodd y goruchel,
Sal.34,18 a'r derchafedic, yr hwn a bresswylia yn dragy-
wyddol, ac [y mae] ei enw 'n sanctaidd: Y gor-
uchelder a'r cyssegr a bresswyliaf, a chyd â'r
cystuddiedic a'r isel o yspryd, i fywhau y rhai
isel o yspryd, ac i fywhau y rhai cystuddiedic o
galon.
Gen.6, 16 k Canys nid byth yr ymrysonaf, ac nid yn
...8.61,2 dragywydd y digiaf, o herwydd yr yspryd [yr
hwn sydd] o'm blaen i a ymwisc mewn corph,
ac myfi a wneuthum yr anadl.
...er.6,13 17 l Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais,
ac y tarewais ef, gan ymguddio pan ddigiais,
canys efe a aethe'n gildynus, ar hyd y ffordd a
fynne.
Ier.3, 18 m Ei ffordd a welais, ac mi ai iachaf ef, ty-
...ec.9,8 ...lat.5,4 wysaf ef hefyd, a thalaf gyssur iddo ef, ac i'w
alarwyr.
Heb.13 19 n Gan greu ffrwyth gwefusan, [i fod] yn
Eph.2,14 Act.2,39 heddwch heddychlon i bell ac i agos, medd yr
Arglwydd, fel yr iachauwyf ef.
Iob 15, 20 o A'r rhai anwir [ydynt] fel môr yn dygy-
for, canys ni ddichon ostegu, ai ddyfroedd, a
fwrw allan dom a chlai.
21 Ni [bydd] heddwch medd fy Nuw i'r rhai
annuwiol.

## PEN. LVIII.

*Duw yn ceryddu llwgr crefydd, a buchedd y bobl: Ac yn addo trugaredd ir edifeiriol.*

LLEFA p a'th gêg, nac ymatal, derchafa dy p Dat.14, 9
lais fel udcorn, a mynega i'm pobl eu cam- Ezec.3,
wedd, ai pechod i dŷ Iacob. 17,21
2 Canys beunydd i'm ceisiant, ac y mynnant
wybod fy ffyrdd fel cenhedlaeth yr hon a wnele
gyfiawnder, ac ni wrthode farnedigaeth ei Duw:
gofynnant i mi farnedigaethau cyfiawnder,
ewyllysiant nessau [at] Dduw.
3 q Pa ham [meddwch] yr ymprydiasom, ac q Mal.3,
ni's gwelaist? y cystuddiasom ein henaid, ac 14 Luc 18,9
ni's gwybuost? wele yn y dydd yr ymprydioch 10,11 Ezec.38,
y cewch wynfyd: ac y mynnwch eich holl 39
ddyledion.
4 r Wele i ymryson a chynnen yr ymprydiwch, r Amos.4
ac i daro â dwrn anwir: nac ymprydiwch fel y 4 1Bren.21
dydd [hwn,] gan beri clywed eich llais yn uchel. 9,13 Luc 20,
5 s Ai fel hyn y bydd yr ympryd yr hwn a dde- 47
wisaf? y dydd y cystuddio dyn ei enaid, ai trwy s Mat.6, 16
grymmu ei ben fel brwynen, pan dano [arno] 1Bren.21 29
sach-liain a lludw, ai hyn a elwi yn ympryd, ac
yn ddiwrnod bodlon gan yr Arglwydd?
6 t Onid dymma'r ympryd a ddewisaf, Dattod t Mica 6,
cylymmau anwiredd, tynnu ymmaith feichiau 10 Neh.5,10
trymmion, a gollwng y rhai gorthymedic yn 11,12 Mica 3,2
rhyddion, a thorri o honoch bob rhwym? 3
7 u Onid torri dy fara i'r newynoc, a dwyn o u Act.10,
honot y cyrwydraid i dŷ? a phan welech noeth 2 Heb.11,
ei ddilladu, ac nad ymguddiech oddi wrth dy 37 Iob 31,19
gnawd? 1 Ioan 3, 17
8 v Yna y tyrr dy oleuni allan fel y wawr, dy v Est.8,16
iechyd a dardda yn fuan, a'th gyfiawnder aiff Sal.37,6
o'th flaen: gogoniant yr Arglwydd a'th ddilyn.
9 w Yna y gelwi, a'r Arglwydd a ettyb, y gwei- w 1Thes.
ddi, ac efe a ddywed, Wele fi: os bwri oddi wrthit 5,22 Sal.12,2
yr iau, estyn bys, a dywedyd anwiredd,
10 x O thosturi di wrth y newynoc, a diwallu x Sal.112
yr enaid cystuddiedic, yna dy oleuni a gyfyd 5 2Cor.8,5,
mewn tywyllwch, a'th dywyllwch [fydd] fel 12
hanner dydd.
11 y A'r Arglwydd a'th arwein yn wastad, ac y Sal.25.
a ddiwalla dy enaid ar sychder, ac a wna dy es- 5 a 37,19 Ioan 4,14
cyrn yn freision: a thi a fyddi fel gardd wedi ei
dwfrhau, ac megis ffynnon ddwfr yr hon ni phalla
ei dwfr.
12 z [Rhai] o honot ti a adailadant ddiffaeth- z Act.2,
wch tragywyddol, ti a gyfodi sylfeini i lawer cen- 41 Mat.17,
hedlaeth, a thi a elwir yn gae-wr adwy, yn gy- 11
weiri-wr llwybrau i gyfanneddu.
13 a O throi dy droed oddi wrth fy Sabboth a Exec.22
[heb] wneuthur dy ewyllys ar fy nydd sanctaidd, 26 Rhuf.12,
ai alw [ef] yn hyfryd, sanctaidd, ogoneddus 1,2 Sal.42,4
Sabboth yr Arglwydd, ai anrhydeddu ef heb Mat.12,
wneuthur dy ffyrdd, heb geisio dy ewyllys na 56 b Iob 22,
dywedyd gair [drwg,] 26 Deut.32,
14 b Yna yr ymhyfrydi yn yr Arglwydd, ac y 13 Sal.1,5,
gwnaf it farchogeth ar uchelfeudd y ddaiar, 11,12

gwnaf hefyd it fwynhau etifeddiaeth Iacob dy
dad: canys genau yr Arglwydd a lefarodd
[hyn.]

## PEN. LIX.

*Achosion dialedd Duw yw pechodau y bobl. 16 Gallu Duw ai drugaredd i ymgeleddu 'r edifeiriol.*

c Num 11, 23 WELE c ni fyrhauwyd llaw'r Arglwydd
fel na allo achub, ac ni thrymhaodd ei
glust ef, fel na allo glywed.
d Ios. 6, 11 2 d Eithr eich anwireddau chwi a yscarodd
Ier. 3,3,4 rhyngoch chwi a'ch Duw: a'ch pechodau a
guddiasant ei wyneb oddi wrthych rhag clywed.
e Ier. 9, 3 3 e Canys eich dwylo a halogwyd â gwaed,
a'ch byssedd â chamwedd: eich gwefusau a
draethasant ffalster, eich tafod a fefyria anwir-
edd.
f Preg. 4, 1 4 f Nid [oes] a alwo am gyfiawnder, nac a far-
Ier. 5, 1 no mewn gwirionedd: [y maent] yn gobeithio
Mica 2, 1 mewn gwagedd, yn dywedyd celwydd, yn
beichiogi ar flinder, ac yn escor ar anwiredd.
g Mat. 37 Sal. 10, 9 5 g Wyau asp a ddodwasant, a gweoedd y
Mica 7, 2 pryf copyn a weuant, yr hwn a fwytto oi hwyau
a fydd marw, a'r hwn a sathrer a dyrr allan yn
wiber.
6 Eu gweoedd hwyntnibyddant yn wiscoedd,
ac ni's gwiscir hwynt ai gweithredoedd, eu
gweithredoedd [ydynt] weithredoedd anwiredd,
ai gwaith yn drawsder yn eu dwylo.
h Diar 1, 16 7 h Eu traed hwynt a redant i ddrygioni, ac a
Rhuf. 3, fryssiant i dywallt gwaed gwirion, eu meddyliau
15 [ydynt] feddyliau anwir, destruw a dinistr [sydd]
ar eu ffyrdd hwynt.
i Mica 3, 11 8 i Ffordd heddwch nid adnabuant, ac nid
Sal. 125, 5 [oes] gyfiawnder yn eu llwybrau hwynt: eu
llwybrau a ŵyrasant ganddynt, pwy bynnac a
rodio yno nid edwyn heddwch.
j Hab. 1, 13 9 j Am hynny y ciliodd barnedigaeth oddi
Ier. 8, 15 wrthym, ac ni'n goddiweddodd cyfiawnder: dis-
gwiliasom am oleuni, ac wele dywyllwch, am
ddiscleirdeb, [ac] yn y fagddu y rhodiasom.
k Deut. 28, 29 10 k Palfalasom fel deillion a'r pared, ie fel
Iago 4, 14 [rhai] heb lygaid y palfalasom: tramgwyddas-
om ar haner dydd fel y cyfnos, [oeddem] ym
mysc y beddau fel rhai meirw.
l Ezec 7, 11 l Nyni oll a ruasom fel eirth, a chan riddfan
16 y griddfanasom fel colomennod: disgwiliasom
Hos. 7, 14 am farn, ac ni's [ceid,] am iechydwriaeth, [a]
chiliodd oddi wrthym.
m Sal. 90, 12 m Canys amlhaodd ein camweddau ni ger
8 Ex. 34, 9 dy fron, a thestiolaethodd ein pechodau i'n her-
Dan. 9, 5 byn: o herwydd ein camweddau [ydynt] ynom,
a'n hanwireddau ni a adwaenom.
n Iago 1, 13 n Camweddu a dywedyd celwydd yn erbyn
15 Mat. 12, yr Arglwydd, a chilio ar ol ein Duw, dywedyd
34 trawsder, ac anufudd-dod, dychymmyg a my-
fyrio o'r galon eiriau gau.

14 Barn hefyd a droed yn ei hol, a chyfiawn-
der a safodd o hirbell, canys gwirionedd a dram-
gwyddodd yn yr heol, ac iniondeb ni alle ddy-
fod i mewn.
15 o Ie gwirionedd sydd yn pallu, a'r hwn o Sal. 12, 1, 2
sydd yn cilio oddi wrth ddrygioni a yspeilir: pan Gen. 7, 1
welodd yr Arglwydd [hyn] yna drwg oedd yn 1 Pedr 4, 4
ei olwg, am nad [oedd] barn.
16 p Gwelodd hefyd nad [oedd] ŵr, a synodd p Ezec 22, 30
arno, am nad [oedd] eiriol-wr: yna ei fraich
ai achubodd, ai gyfiawnder ei hun ai cynhal-
iodd.
17 q Ac efe a wiscodd gyfiawnder fel lluric, q Sal. 93, 1
a helm iechydwriaeth am ei benn, ac a wiscodd
wiscoedd dial yn ddillad: ïe gwiscodd zêl fel
mantell.
18 Yn ddïau yn ol y gweithredoedd, ïe yn [eu]
hol [hwynt] y tal efe [ei] lid ar ei wrthwyneb-
wyr, taledigaeth iw elynnion, [a] thaledigaeth
i'r ynysoedd a dâl efe.
19 r Ac ofnant enw yr Arglwydd o'r gorllewyn, r Mal. 1, 11
ai ogoniant ef o godiad haul: pan ddelo y gel- Zec. 4, 6
yn fel afon, Yspryd yr Arglwydd ai hymlid ef
ymmaith.
20 s Ac i Sïon y daw gwaredudd, ac i'r rhai s Rhuf. 11, 26
a droant [oddi wrth] anwiredd yn Iacob, medd Act. 3, 26
yr Arglwydd.
21 t Ac mi [a wnaf] fyng-hyfammod hwn a t Heb. 10, 16
hwynt medd yr Arglwydd, fy yspryd yr hwn 2 Cor. 3, 6
[sydd] ynot, a'm geiriau y rhai a ossodais yn dy Ioan 6, 36
enau ni chiliant o'th enau, nac o enau dy hâd, Rhuf. 9, 6, 8
nac o enau hâd dy hâd medd yr Arglwydd o
hyn allan byth.

## PEN. LX.

*Galwedigaeth y cenhedloedd drwy bregethiad yr efengyl. 15 Daioni Duw iw eglwys.*

CYFOT, u llewyrcha, canys daeth dy oleuni, u Esai. 9
a thywynnodd gogoniant yr Arglwydd 2 Cor. 3, 18
arnat [o Ierusalem.]
2 v Canys wele tywyllwch a orchguddia y v Luc 1,
ddaiar, a chwmmwl y bobloedd: ond arnat ti y 79 Act. 26,
tywynna yr Arglwydd, ai ogoniant a welir 18
arnat.
3 w Cenhedloedd hefyd a rodiant yn dy oleuni, w Dat. 21,
a brenhinoedd yn niscleirdeb dy dywynniad. 24
4 Cyfot dy lygaid oddi amgylch, ac edrych,
ymgasclasant hwy oll [a] daethant attat: dy
feibion a ddeuant o bell, a'th ferched a dadmei-
thir wrth dy ystlys,
5 x Yna y cei weled, ac yr ymddiscleiri, dy x Mat. 8,
galon hefyd a ddychryna, ac a helaethir, pan 11 Hos. 3, 5
droir attat luosogrwydd y môr, golud y cenhedl- 2 Cor. 6, 11, 13
oedd a ddeuant i ti. Dat. 21, 26
6 y Mintai o gamelod a'th orchuddiant [sef] y Sal. 72,
cyflym gamelod Madian, ac Epha: hwynt oll o 10 Mat. 2, 11
Saba a ddeuant, aur a thus a ddygant, a mol-

y priod fab, ac i lais y briod ferch ddarfod o'r lle hwn o
flaen eich llygaid, ac yn eich dyddiau chwi.
uMal. 2, 10 u A phan ddangosoch i'r bobl ymma yr holl eiriau
17 a 3, 13 hyn, ac iddynt hwythau ddywedyd wrthit ti, Am ba
Mat. 25, beth y llefarodd yr Arglwydd yr holl fawr-ddrwg hyn
44 i'n herbyn ni? neu pa anwiredd, a pha bechod [yw]
yr hwn a bechasom yn erbyn yr Arglwydd ein Duw?
v Deut. 11 v Yna y dywedi wrthynt, O herwydd i'ch tadau
29, 24 fyng-adel medd yr Arglwydd, a myned ar ôl duwiau
dieithr, ai gwasanaethu hwynt, ac ymgrymmu iddynt,
a'm gwrthod fi, ac heb gadw fyng-hyfraith,
12 (A chwithau a wnaethoch yn waeth na'ch tadau,
canys wele chwi yn rhodio, bob un yn ôl cyndynrwydd
ei galon ddrwg heb wrando arnaf.)
wDeut. 4 13 w Am hynny mi a'ch taflaf chwi o'r tir hwn i wlad
27 Sal. 106, yr hon nid adwaenoch chwi, na'ch tadau, ac yno y
40 gwasanaethwch dduwiau dieithr ddydd a nôs, lle ni
roddaf i chwi râs.
x Hos. 2, 14 x Gan hyny wele yr dyddiau yn dyfod medd yr
13 a 3, 5 Arglwydd, pryd na ddywedir, byw yw'r Arglwydd
a 6, 6 yr hwn a ddug feibion Israel i fynu o dir yr Aipht:
yHos. 1, 15 y Eithr byw yw'r Arglwydd yr hwn a ddug i fynu
11 feibion Israel o dir y gogledd, ac o'r holl diroedd lle
y bwriase efe hwynt: canys mi ai dygaf hwynt trach-
efn i'r wlad yr hon a roddais iw tadau.
z Mat. 4, 16 z Wele fi yn anfon am byscod-wyr lawer medd yr
19 Arglwydd y rhai ai pyscottânt hwynt, ac wedi hynny
mi a anfonaf am hel-wŷr lawer, y rhai ai heliant hwynt
oddi ar bob mynydd, ac oddi ar bob brynn, ac o grom-
lechudd y creigiau.
a Iob 34, 17 a Canys [y mae] fyng-olwg ar eu holl ffyrdd
21 hwynt, nid ydynt guddiedic oddi ger fy mron; ac nid
Diar 5, 21 Esa. 29 yw eu hanwiredd hwynt guddiedic oddi ar gyfer fy
15 llygaid.
Sal. 94 7. bEsa. 40, 18 b Ac yn gyntaf myfi a dalaf yn ddwbl am eu han-
15 wiredd ai pechod hwynt, am iddynt halogi fy nhir ai
Lef. 26, 30 ffiaidd gelanedd: ie ai ffieidd-dra y llanwasant fy
etifeddiaeth.
cSal. 18 2 19 c O Arglwydd fy nerth a'm cadernid, a'm noddfa
Mal. 1, 11 yn nydd blinder: attat ti y daw y cenhedloedd o eith-
Mat. 8, 11 Esa. 44, afoedd byd, ac a ddywedant, Diau mai celwydd a ddarfu
10 i'n tadau ni ei etifeddu, [ac] oferedd heb lês ynddynt.
dGal. 4, 8 20 d A wna dyn dduwiau iddo? a hwyntau heb [fod]
yn dduwiau?
eSal. 9, 16 21 e Am hynny wele mi ai dyscaf hwynt y waith hon,
dangosaf iddynt fy llaw a'm grym: a chânt wybod mai
yr Arglwydd [yw] fy enw.

## PEN. XVII.

*Cyndynrwydd yr Iuddewon, melldith i'r rhai a hydero ar ddyn, llygr calon dyn, Duw yn ei gweled, Sancteiddio y Sabboth.*

f Iob 19, PECHOD f Iuda a scrifenwyd â phinn o haiarn, ag
24 ewin o adamant y cerfiwyd [ef] ar dabl eu calon,
2Cor. 3, 3 Lef. 4, 7 ac wrth gyrn eich allorau:
2 Gan fod eu meibion yn cofio eu hallorau ai plan-
wydd wrth y pren deiliog, [ac] ar y brynnau uchel.
gHos. 10, 3 g O fy m nydd [yr hwn] wyt yn y maes, dy olud
8 [a'th] holl dryssorau di a roddaf yn anrhaith am dy
bechod ar dy uchelfeudd drwy dy holl derfynau.
hLef. 26, 4 h Ti a adewir dy hunan heb dy etifeddiaeth yr hon
34 Deut. 32, a roddais i ti, ac mi a wnaf i ti wasanaethu dy elynn-
22 ion mewn tir nid adwaenost: canys cyneuasoch dân
yn fy nig yr hwn a lysc byth.
iEsa. 30, 1 5 i Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Melldigedic yw
y gwr a hydero mewn dyn, ac a roddo gnawd yn
fraich iddo, a'r [hwn] y cilio ei galon oddi wrth yr
Arglwydd.
6 j Canys efe a fydd fel y grug yn y diffaethwch, ac jIob 9, 32
ni wêl pan ddêl daioni: eithr efe a gyfanedda boeth- Deut. 29,
fannau yn yr anialwch, tir hallt, ac anghyfaneddol. 23
7 k Bendigedic yw'r gŵr yr hwn a ymddyriedo yn k 1Cron.
yr Arglwydd: ac y byddo yr Arglwydd yn hyder 5, 20 Diar. 16,
iddo. 20
8 l Canys efe a fydd megis pren wedi ei blannu wrth Esa 30, 18
y dyfroedd, yr hwn a estyn ei wraidd i'r afon, ac ni lEsa. 1, 3 Hab 3, 17
chaiff niwed er dyfod sychder, ni ofala efe, ac ni phaid Ioan 15, 6
a ffrwytho. Sal. 15, 5
9 m Y galon sydd fwy ei thwyll na dim, a gofidus yw, mMat 15
pwy ai hedwyn? 18 Gen 6, 5,
10 n Myfi yr Arglwydd sydd yn chwilio y galon, yn 12
profi yr arennau, ac yn rhoddi i bob un yn ol ei ffyrdd, 1Cor. 2, 11
[ac] yn ol ffrwyth ei weithredoedd: nDat. 2, 23
11 o [Fel] petris yn eistedd ac heb ddodwi [yw] yr o 1Bren.
hwn a helio gyfoeth yn anheilwng: yn hanner ei 21, 15
ddyddiau y gedu hwynt, ac yn ei ddiwedd ynfyd Iob 15, 29
fydd efe. Luc 12, 20
12 Gorsedd ogoneddus dderchafedic o'r dechreuad
[yw] lle ein cyssegr ni.
13 p O Arglwydd gobaith Israel y rhai oll a'th pSal. 73,
wrthodant a wradwyddir, scrifenner yn y ddaiar y 27
rhai a giliant [oddi wrthit ti:] am iddynt adel yr Ar- Diar. 10, 7
glwydd ffynnon dyfroedd y bywyd. Luc 10, 20
14 q Iachâ fi O Arglwydd, a mi a iacheuir, achub di qIob 48, 5
fi, a mi a achubir, canys tydi [yw] fy moliant. 6
15 r Wele hwynt yn dywedyd wrthif: Pa le [y mae] rEsa. 5, 19
gair yr Arglwydd? deuet bellach. Amos 5, 18
16 s Ond ni wrthodais i yn daer fod yn fugail i ti, ac Ezec. 12,
ni ddymunais y swydd flin [hon,] ti a wyddost [hynny:] 22 s2Cor. 2,
y mae yr hyn ddaeth o'm gwefusau ger dy fron di. 17
17 t Na fydd yn ddychryn i mi, ti [yw] fyng-obaith tSal. 25, 4
yn nydd adfyd.
18 u Gwradwydder fy erlidwyr ac na'm gwradwydd- uSal. 35,
er fi, brawycher hwynt, ac na'm brawycher fi: dŵg 4 a 40, 14
arnynt ddydd drygionus, a dryllia hwynt â drylliad Sal. 25, 2
dau ddyblyg.
19 v Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, v Neh. 5,
Cerdda, a saf ym mhorth meibion y bobl trwy yr hwn 26 Diar. 8, 2
yr aiff brenhinoedd Iuda, a thrwy yr hwn y deuant 3
allan: ac yn holl byrth Ierusalem,
20 w A dywet wrthynt, Gwrandewch air yr Arglwydd wEzec. 2
brenhinoedd Iuda, a holl Iuda, a holl breswyl-wŷr 7
Ierusalem y rhai a ddeuwch drwy yr pyrth hyn: Hos. 5, 1
21 x Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Disgwyliwch ar xDeut. 4
eich eneidiau, ac na ddygwch feichiau ar y dydd Sab- 15 2Bren. 10
both, ac na ddygwch hwynt i mewn drwy byrth Ie- 31
rusalem. Neh. 13,
22 y Ac na ddygwch feichiau allan o'ch tai ar y dydd 9 yEx. 2. 8
Sabboth, ac na wnewch ddim gwaith: eithr sancteidd- Ezec. 20,
iwch y dydd Sabboth fel y gorchymynnais i'ch tadau. 12
23 Ond ni wrandawsant, ac ni ogwyddasant eu clus-
tiau, eithr caledasant eu gwarrau rhac gwrando, ac
rhac derbyn cerydd.
24 z Er hynny os llwyr wrandewch arnaf medd yr z Ex. 15,
Arglwydd, heb ddwyn baich trwy byrth y ddinas hon 21
ar y dydd Sabboth, ond sancteidio y dydd Sabboth heb
wneuthur dim gwaith arno:
25 a Yna y daw drwy byrth y ddinas hon frenhinoedd a Esa. 1.
a thywysogion yn eistedd ar orsedd Dafydd yn march- 18, 19
ogaeth mewn cerbydau, ac ar feirch hwynt ai tywysog-
ion, gwŷr Iuda a phresswyl-wŷr Ierusalem: a'r ddinas
hon a gyfaneddir byth.

b 1Bren. 26 b Ac o ddinasoedd Iuda, ac o amgylchoedd Ieru-
12, 21 Zec. 7, 7 salem ac o wlâd Beniamin, ac o'r gwastadedd, ac o'r
Sal. 60, 14 mynydd, ac o'r deau y daw rhai yn dwyn poeth offrwm,
Lef. 4, 34 2 Cor. 5, 21 ac aberth, a bwyd offrwm, a thus, ac yn dwyn diolch
i dŷ yr Arglwydd.
c 2Bren. 25, 9 27 c Ond os chwi ni wrendu arnaf i sancteiddio y
dydd Sabboth heb ddwyn baich, a dyfod i byrth Ie-
rusalem ar y dydd Sabboth: yna mi a gynneuaf dân
yn ei phyrth hi, yr hwn a yssa balasau Ierusalem, ac
ni's diffoddir.

## PEN. XVIII.

*Y mae efe yn dangos fod dyn yn llaw Duw fel y pridd yn llaw y crochenydd. 18. Y bobl yn codi yn erbyn Ieremi, 19. Ei weddi ef yn eu herbyn hwynt: nid er llid wrthynt, onid drwy brophwydo dialedd iddynt.*

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi wrth yr
Arglwydd gan ddywedyd,
d 1Bren. 9, 7 2 d Cyfod, a dos i wared i dŷ y crochenydd, ac yno y
paraf i ti glywed fyng-eiriau.
e Gal 1, 16 3 e Yna mi a aethym i wared i dŷ y crochenydd, ac
Mat. 16, 4 wele ef yn gwneuthur ei waith ar droellau.
Sam. 15, 4 f A'r llestr a ddrylliodd yn llaw y crochenydd yr
f Rhuf. 11 hwn yr oedd efe yn ei wneuthur o glai: yna y trôdd
5 efe, ac y gwnaeth lestr arall fel y gwelodd y crochen-
Mat. 8, 11 ydd yn dda [ei] wneuthur.
al. 115, 5 Yna y daeth gair yr Arglwydd attaf gan ddywedyd,
6 g Oni allafi fel y crochenydd hwn wneuthur i chwi
Esa 45, tŷ Israel, medd yr Arglwydd? wele megis ac [y mae] y
ct. 17, pridd yn llaw y crochenydd, felly [yr ydych] chwithau
yn fy llaw i tŷ Israel.
7 [Os] dywedaf yn ddisymmwth am ddiwreiddio, a
thynnu i lawr, a difetha cenhedlaeth neu frenhiniaeth,
Iona 3, 8 h A'r genhedlaeth honno yn troi oddi wrth ei drwg
Cron. 12 (yr hwn a ddywedais yn ei erbyn:) yna yr edifarhaf
am y drwg yr hwn a amcenais ei wneuthur iddi.
em 6, 11 9 Os yn ddisymmwth y dywedaf am adailadu, ac am
am. 15, blannu cenhedlaeth neu frenhiniaeth,
eut. 23 10 i A hi yn gwneuthur drygioni yn fyng-olwg heb
2, 3 am. 2, wrando ar fy llais, minneu a edifarhaf am y daioni yr
hwn a amcenais ei wneuthur er llês iddi.
mos 3, 11 j Dywet bellach, wrth bob un o Iuda, ac wrth
ren 17 bresswyl-wŷr Ierusalem gan ddywedyd, Fel hyn y
dywedodd yr Arglwydd: Wele fi yn llunio drwg i'ch
erbyn, ac yn dychymygu dychymyg i'ch erbyn: dych-
welwch yr awr hon, bob un oi lwybrau drwg, a gwell-
hewch eich ffyrdd, a'ch gweithredoedd.
Bren. 3 12 k Hwythau a ddywedasant, nid oes obaith [o hyn]
o herwydd ar ôl ein dychymygion ein hunain yr awn,
a gwnawn bob un amcan ei ddrwg calon ei hunan.
or. 11 13 l Am hynny fel hyn y dywet yr Arglwydd, Gof-
ynnwch atolwg ym mysc y cenhedloedd pwy a glyw-
odd [bethau] fel y rhai hynn? gwnaeth y forwyn
Israel fryntni mawr.
14 A wrthodir eira Libanus yr hwn [sydd yn dyfod]
o graig y maes? neu a wrthodir y dyfroedd oerion y
rhai fyddo yn rhedeg o lèoedd oerion eraill?
al. 2, 15 m O herwydd i'm pobl fy anghofio i, [ac] arogl-
darthu i wagedd, ac [iw prophwydi] wneuthur iddynt
dramgwyddo yn eu ffyrdd, o lwybrau tragywyddoldeb
lar. 2 i gerdded llwybrau ffordd ddisathr,
en 9, 16 n I osod eu tîr yn anghyfannedd, ac yn ffiaidd
byth: pawb a elo heibio iddo a ryfeddant, ac a escyd-
a6, 16 want eu pennau,
. 27, 17 o A gwynt y dwyrain y chwalaf hwynt o flaen y
7, 21 gelyn: fyng-wegil, ac nid [fy] wyneb a ddangosaf
. 28, iddynt yn amser eu methiant.

18 p Yna y dywedasant, Deuwch a dychymygwn p 2Tim 4, 3
ddychymygion yn erbyn Ieremi, canys ni fetha y Act. 7, 54
gyfraith gan yr offeiriad, na chyngor gan y doeth, na'r Ezec 11, 2
gair gan y prophwyd: deuwch, tarawn ef a'r tafod, ac Mal 2, 7
nac ystyriwn ar ei holl eiriau. Ioan 7, 40
19 Ystyria di wrthyf O Arglwydd, a chlyw lais y rhai Act 19, 25 Amos 5, 8
sydd yn ymryson â mi. Est. 3, 8 9
20 q A dâlir drwg dros dda? canys cloddiasant ffôs q Sal. 109,
i'm henaid: cofia i mi sefyll ger dy fron di i ddywedyd 4 a 106, 23
daioni am danynt, [ac] i ddychwelyd dy ddîg oddi
wrthynt.
21 r Am hynny gad ti iw meibion feirw o newyn, a r Sal. 109,
gwna iddynt syrthio ar fin y cleddyf: a bydded eu 9, 10
gwragedd heb eu plant, ac yn weddwon: lladder hefyd
eu gwŷr ieuangc a'r cleddyf yn y rhyfel.
22 s Clywer eu gwaedd oi tai pan ddygech y fyddin s 2Bren.
arnynt yn ddisymmwth: canys cloddiasant ffôs i'm dal: 24, 2 Sal. 57, 6
a chuddiasant faglau i'm traed.
23 t A thi O Arglwydd a wyddost [fod] eu holl t Neh. 4, 4
gyngor hwynt am fy lladd i: na faddeu di eu hanwir- 5 Sal. 109,
edd, ac na ddelea eu pechodau o'th wydd, eithr bydd- 14, 15
ant dramgwyddedic ger dy fron: gwna di [hyn]
iddynt yn amser dy ddigofaint.

## PEN. XIX.

*Y mae efe yn prophwydo dinistr ar Ierusalem am ei gau-dduwiaeth.*

FEL u hyn y dywed yr Arglwydd, Dos a phryn u Esa. 8, 2
stên bridd, a [chymmer] o henuriaid y bobl, ac o
henuriaid yr offeiriaid,
2 v A dos allan i ddyffryn meibion Hinnom yr hwn v 2Bren.
sydd wrth ddrws porth y dwyrain, a chyhoedda yno 23, 10 Neh. 3, 29
y geiriau y rhai a ddywedwyf wrthit. Mat. 28,
3 w A dywet, Brenhinoedd Iuda a phresswyl-wŷr 20
Ierusalem clywch air yr Arglwydd: fel hyn y dywed w Deut.
Arglwydd y lluoedd Duw Israel, Wele fi yn dwyn ar 33, 5 Gen. 2, 1
y lle hwn ddrwg, yr hwn, pwy bynnac ai clyw ei 1Sam. 3, 21
glustiau a ferwinant. 2Bren 21
4 x Am iddynt fyng-wrthod i, a halogi y lle hwn ac 12 x Esa. 1,
arogl-darthu ynddo i dduwiau dieithr, y rhai nid ad- 11
waenent hwynt, nai tadau, na brenhinoedd Iuda: a 2Bren 21
llenwi o honynt y lle hwn o waed gwirioniaid, 16
5 y Ac adailadu uchelfeudd i Baal, i losci eu meibion y 2Bren.
â thân yn boeth offrwm i Baal: yr hyn ni orchymyn- 23, 10
nais, ac nid erchais, ac ni feddyliodd fyng-halon: Lef 18, 21 Col. 2, 23
6 z Am hynny wele y dyddiau yn dyfod medd yr z Ios. 15, 8
Arglwydd, pryd na elwir y lle hwn Tophet, na dyff-
ryn meibion Hinnom, onid dyffryn y lladdfa.
7 a A mi a wnaf yn ofer gyngor Iuda, ac Ierusalem, a Esa 30,
yn y lle hwn, a pharaf iddynt syrthio ar y cleddyf o 1, 3
flaen eu gelynnion, ac yn llaw y rhai a geisiant eu 1Sam. 4, 8
henioes hwynt: rhoddaf hefyd eu celaneddau hwynt
yn fwyd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaiar.
8 A mi a osodaf y ddinas hon yn anghyfannedd, ac
yn ffiaidd, pob un a elo heibio iddi a ryfedda, ac a
chwibiana, o herwydd ei holl ddialeddau hi.
9 b A mi a baraf iddynt fwytta cnawd eu meibion, a b Lef. 26,
chnawd eu merched, bwyttânt hefyd bob un gnawd ei 28
gyfaill yn y gwarche a'r blinder, a'r hwn y blina eu Galar. 4,
gelynion hwynt, a'r rhai a fyddant yn ceisio eu henioes 10 Esa. 9, 20
hwynt.
10 Yna dryllia di yr stên yng-wydd y gwŷr a elont
gyd â thi.
11 c A dywet wrthynt, Fel hyn y dywedodd Arg- c Esa. 30,
lwydd y lluoedd, Y modd hwn y drylliaf y bobl hyn, 14
a'r ddinas hon fel y dryllia [un] lestr pridd yr hwn ni

ellir ei feddiginiaethu mwyach: ac yn Tophet y cleddir
hwynt o eisieu lle i gladdu.
d 2Bren. 12 [d] Fel hyn y gwnaf i'r lle hwn, ac i'r rhai sy yn
21,10 trigo ynddo: ac mi a wnaf y ddinas hon megis Tophet,
e Deut. 13 [e] Canys tai Ierusalem, a thai brenhinoedd Iuda a
22,8 fyddant halogedic fel y fangre Tophet: ie yr holl dai
2Breu 23 y rhai yr arogldarthasant ar eu pennau i holl lu y nef-
12 oedd, ac y tywalltasant ddiod offrwm i dduwiau di-
Seph. 1.5 eithr.
Esa. 65,2
f 2 Cron. 14 [f] Yna y daeth Ieremi o Thophet lle yr anfonase
23,2 yr Arglwydd ef i brophwydo, ac a safodd ym mhorth
tŷ yr Arglwydd, ac a ddywedodd wrth yr holl bobl,
g Deut 6 15 [g] Fel hyn y dywedodd Arglwydd y lluoedd Duw
5 Israel, Wele fi yn dwyn ar y ddinas hon, ac ar ei holl
drefydd yr holl ddrygau y rhai a leferais iw herbyn,
am galedu o honynt eu gwarrau rhac gwrando fyng-
eiriau.

## PEN. XX.

*Ieremi wedi ei daro ai garcharu. 3. Y mae efe yn prophwydo caethiwed Babilon. 7. Y mae efe yn achwyn ei fod yn watworgerdd am ei brophwydoliaeth, yr hon ni ddichon efe beidio â hi er ceisio. 11. Yr Arglwydd yn ei amddiffyn pan oedd galedaf arno ef.*

h Amo. 7, PAN [h] glybu Phashur mab Immer yr offeiriad, yr
10 hwn oedd yn benn golygwr yn nhŷ yr Arglwydd
Act. 24, i Ieremi brophwydo y geiriau hyn,
1 2 [i] Yna Phashur a darawodd Ieremi y prophwyd, ac
Mat 9.33 ai rhoddodd ef yn y carchar yr hwn [oedd] yn y porth
1 Cron. 24 uchaf i Beniamin yr hwn [oedd] wrth dŷ yr Ar-
14 glwydd.
2 Bren 25
18
i 1 Bren.
22,24
3 A thrannoeth Phashur a ddug Ieremi allan o'r
carchar, yna Ieremi a ddywedodd wrtho ef: Ni eilw
yr Arglwydd dy enw di Phashur, onid Magor Mis-
sabib.
j Iob 18 11 4 [j] Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele fi yn
1 Sam. 2, rhoddi arnat ti ofn, [ie] arnat ti, ac ar y rhai oll a'th
36 garant: a hwynt a syrthiant ar gleddyf eu gelynion,
a'th lygaid di yn gweled: rhoddaf hefyd holl Iuda yn
llaw brenin Babilon, ac efe ai caethgluda hwynt i
Babilon, ac ai lladd hwynt a'r cleddyf.
k Sal. 127, 5 [k] Rhoddaf hefyd holl olud y ddinas hon, ai holl
2 lafur, a phob dim a'r y sydd werthfawr genddi: a holl
Diar. 11, drysorau brenhinoedd Iuda a roddaf i i law eu gelyn-
4 nion, y rhai ai difrodant hwynt, ac ai cymmerant, ac
Esa 39,6 ai dygant i Babilon.
6 A thithe Phashur, a phawb a'r sydd yn trigo yn dy
dŷ a ewch mewn caethiwed, a thi a ddeui i Babilon:
yno y byddi farw, ac yno i'th gleddir, ti a phob an-
wylyd i ti, y rhai y prophwydaist iddynt yn gel-
wyddoc.
l Iago 5. 7 [l] O Arglwydd ti a'm hudaist, ac mi a hudwyd,
17 cryfach oeddit na mi, am hynny y gorchfygaist: yr
Num. 11, ydwyf yn watwargerdd ar hyd y dydd, pob un sydd
11 yn fyng-watwar.
Gen. 19,
14
8 Canys er pan leferais, mi a waeddais [yn erbyn]
trais, ac [yn erbyn] anrhaith y llefais: am hyny y bu
gair yr Arglwydd yn wradwydd, ac yn watwargerdd
i mi beunydd.
m Sal. 14, 9 [m] Yna y dywedais, Ni soniaf am dano ef, ac ni
1 a 39, 4 phregethaf yn ei enw ef mwyach: onid [ei air ef] oedd
yn llosgi fel tân yn fyng-halon, wedi ei gaeu o fewn
fy escyrn, ac mi a flinais yn ceisio ymatal, ond ni
allwn.
n Luc 11, 10 [n] Canys clywais enllibiaeth llawer [a] dychryn o
53 amgylch [gan ddywedyd,] mynegwch [ei fai ef] i ni,
2 Cor. 11, a ninau ai mynegwn i'r swyddogion: pob dyn hedd-
12
ychol â mi [oeddynt] yn disgwyl cael bai arnaf [gan
feddwl] ond odid efe a dwyllir, ac ni ai gorchfygwn
ef, ac a ymddialwn arno.
11 [o] Onid yr Arglwydd oedd gyd â mi fel cawr ofn- o Sal. 3,5,
adwy, am hynny y syrthiodd fy erlydwyr, ac ni 6
orchfygasant, gwradwyddwyd hwynt yn ddirfawr,
canys angall y gwnaethant, nid anghofir [eu] gwarth
byth.
12 [p] A thi Arglwydd y lluoedd yr hwn wyt yn profi p Sal. 59,
y cyfiawn, gan weled yr arennau a'r galon, pâr di i 10
mi weled dy ddialedd arnynt: canys wrthit y treuth- 2 Bren.
ais fyng-hwyn. 19,14
13 [q] Cenwch i'r Arglwydd, moliennwch yr Ar- q Dat. 18,
glwydd: canys efe a achubodd enaid y tlawd o law y 20
drygionus, [pan oedd barod i ddywedyd,] Sal. 35,10
a 109, 31
14 [r] Melldigedic [fyddo] y dydd i'm ganwyd arno: a 116, 8
na fendiger y dydd i'm hescorodd fy mam. r Gen. 40,
20
15 [s] Melldigedic fyddo y gŵr yr hwn a fynegodd i'm s Gen. 30,
tâd, gan ddywedyd: Ganwyd i ti blentyn gwryw iw 23
lawenychu ef.
16 [t] A bydded y gŵr hwnnw fel y dinasoedd y rhai a t Gen. 19,
ymchwelodd yr Arglwydd, ac ni bu edifar ganddo: a Hos. 10,
chaffed efe glywed gwaedd y boreu, a bloedd bryd 15
hanner dydd, Seph. 1,
16
17 [u] Am na laddodd fi [wrth ddyfod] o'r groth, neu Iob 15,11
na buase fy mam yn fedd i mi, ai chroth yn feichiog byth. u Iob 3,10
a 19, 19
18 [v] Pa ham y deuthum i o'r groth i weled poen a v Iob 3,4
blinder: ac y darfydde fy nyddiau mewn gwarth?

## PEN. XXI.

*Caethiwed Sedecia, a llosciad y ddinas.*

Y GAIR [w] yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi wrth yr w Ex. 8,
Arglwydd, pan anfonodd y brenin Sedecia atto 28
ef Phashur fab Malciah, a Sephania fab Maasiah yr 2 Bren 19
offeiriad, gan ddywedyd, 1
2 Cron 36
12
2 [x] Ymofyn attolwg a'r Arglwydd drosom ni (canys x 1 Sam.
Nabuchodonosor brenin Babilon sydd yn rhyfela i'n 7, 8
herbyn ni,) ond odid gwna yr Arglwydd â ni yn ol Esa. 38,1
ei holl ryfeddodau, ac efe a wnaiff [i hwn] fyned i fynu 2 Bren 19
oddi wrthym ni. 19
3 Yna y dywedodd Ieremi wrthynt, Fel hyn y dy-
wedwch wrth Sedecia,
4 [y] Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Wele y Sal. 89,
fi yn troi yr arfau rhyfel y rhai sy yn eich dwylo, y 41
rhai yr ydych chwi yn rhyfela â hwynt yn erbyn Esa. 5, 5
brenin Babilon, a'r Caldeaid y rhai ydynt yn gwarche a 13, 4
arnoch o'r tu allan i'r gaer: ac mi ai casclaf hwynt i
ganol y ddinas hon.
5 [z] Ac mi a ryfelaf i'ch erbyn â llaw estynnedic, ac a z Amos 3,
braich gref mewn soriant, a llid, a digofaint mawr. 6
Luc 2, 47
6 [a] Tarawaf hefyd drigolion y ddinas hon yn ddyn, Ex. 8, 6
ac yn anifail: fel y byddant feirw o farwolaeth fawr. Sal 90,11
a Hos. 4,3
7 [b] Ac wedi hynny medd yr Arglwydd y rhoddaf b 2 Cron.
Sedecia frenin Juda, ai weision, ai weryn, a'r rhai a 36, 17
weddillir yn y ddinas hon gan haint, gan y cleddyf, a Ezec 9,5
chan newyn, i law Nabuchodonozor brenin Babilon,
ac i law eu gelynnion, ac i law y sawl sydd y ceisio
eu henioes: ac efe ai teru hwynt â min y cleddyf:
ni thosturia wrthynt, ac nid erbyd, ac ni chymmer
drugaredd.
8 [c] Ac wrth y bobl hyn y dywedi, Fel hyn y dywed- c Deut 30
odd yr Arglwydd, Wele fi yn rhoddi ger eich bron 19
ffordd enioes, a ffordd angeu. Sal. 101, 1
Mat. 7, 13
9 [d] Yr hwn a drigo yn y ddinas hon a leddir gan y d Dat. 18,
cleddyf, a chan newyn, a chan haint a'r neb a elo 4
allan, ac a gilio at y Caldeaid y rhai ydynt yn gwarche

arnoch a fydd byw, ai enioes fydd yn sclyfaeth iddo.
e Lef. 17, 10 10 e Canys mi a osodais fy wyneb yn erbyn y ddinas
2 Cron. 36, hon er drwg, ac nid er lles [iddi:] yn llaw brenin Ba-
19 bilon y rhoddir hi, ac efe ai llysc hi â thân.
11 A [dywet] wrth dŷ brenin Iuda, Gwrandewch air
yr Arglwydd.
f Zec. 7, 9 12 f O tŷ Ddafydd fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Sal. 101, 8 Bernwch uniondeb yn foreu, ac achubwch y truan o
law y trawa: rhac i'm llid dorri allan fel tân a llosci
fel nad ellir ei ddiffodd o herwydd drygioni eich
gweithredoedd.
g Ezec. 13, 8 13 g Wele fi [yn dyfod] i'th erbyn yr hon wyt yn
Sal. 76, 7 presswylio y dyffryn, y graig, [a'r] maes medd yr Ar-
Mica 3, 11 glwydd: ac yn dywedyd, Pwy a yrr ofn arnom? neu
pwy a ddaw i'n hanneddau?
h Diar. 1, 31 14 h Ond mi a ymwelaf â chwi yn ol ffrwyth eich
2 Cron. 36, 19 gweithredoedd medd yr Arglwydd: ac mi a gyn-
neuaf dân yn eich coed-wig, yr hwn a yssa bob dim oi
amgylch.

## PEN. XXII.

*2 Y mae efe yn annog brenin Iuda i fod yn gyfiawn. 9 Y mae yn dangos pa ham y caethiwyd Ierusalem. 11 Ac yn prophwydo marwolaeth Selum mab Iosia.*

FEL hyn y dywed yr Arglwydd, Dos di i wared i
dŷ brenin Iuda, a llefara yno y geiriau hyn:
2 A dywet, Gwrando air yr Arglwydd frenin Iuda
yr hwn wyt yn eistedd ar frenhin-fainge Dafydd, ti
a'th weision a'th bobl y rhai ydynt yn dyfod trwy y
pyrth hynn.
i Sal. 72, 2, 4 3 i Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Gwnewch
farn a chyfiawnder, a gwaredwch y gorthrymmedig o
law y gorthrymmwr: na thristewch, ac na threisiwch
y dieithr, yr ymddifad na'r weddw, ac na thywelltwch
waed gwirion yn y lle hwn.
j Sal. 15, 5 4 j Canys os gwnewch y peth hyn, daw drwy byrth
Tit. 1, 16 y tŷ hwn frenhinoedd yn eistedd ar deyrn-gader Da-
Mat. 23, 3 fydd, yn marchogaeth mewn cerbydau, ac ar feirch,
Sal. 31, 11 efe ai weision, ai bobl.
k Esa. 1, 20 5 k Ac oni wrandewch y geiriau hyn, I'm fy hun y
Heb. 6, 13 tyngais (medd yr Arglwydd) mai yn anghyfannedd y
bydd y tŷ hwn.
l Num. 32 6 l Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd am dŷ
2 Bren. 18 brenin Iuda, Gilead ti [a fuost] i mi yn benn ar Li-
Sal. 107, banus, on i'th osodaf yn ddiffaethwch [fel] y dinas-
oedd anghyfanneddol?
m Ezec. 9, 2 7 m Paratoaf hefyd i'th erbyn anrheith-wyr, pob un
Sal. 74, 56 ai arfau, a hwynt a dorrant dy ddewis cedr-wydd, ac
ai bwriant i'r tân.
n Galar. 4 8 n A chenhedloedd lawer a ant heb law y ddinas
Deut. 29 hon, ac a ddywedant bob un wrth ei gilydd, Pa ham
Dan. 9, 12 y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn, i'r ddinas fawr hon?
2 Cron. 7, 22 9 o Yna yr attebant, Am iddynt ymwrthod â chyf-
ammod yr Arglwydd eu Duw hwynt, ac addoli duw-
iau dieithr ai gwasanaethu hwynt.
10 Nac wylwch dros y marw, ac nac ymofidiwch
am dano: gan wylo wylwch am yr hwn sydd yn
myned [i gaethiwed:] canys ni ddychwel mwyach i
weled gwlad ei anedigaeth.
p Ezec. 19 11 p Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd am Selum
Bren. 23 fab Iosia brenin Iuda yr hwn a deyrnasodd yn lle Iosia
ei dad: Yr hwn aeth ymmaith o'r lle hwn, ni ddych-
wel efe yno mwyach.
Hab. 2, 12 Eithr yn y lle y caeth-gludir ef iddo, yno y bydd
efe marw: ac ni wel efe y wlad hon mwyach.
q Mic. 3, 10 13 q Gwae yr hwn a adeilado ei dŷ mewn anghyf-
iawnder, ai stafellau yn anheilwng: gan beri i'w gym-
mydog ei wasanaethu yn rhâd, ac heb roddi iddo ei
gyflog.
14 Yr hwn a ddywed, Mi a adeiladaf i mi dŷ mawr,
a stafellau helaeth, ac efe a nadd iddo ffenestri a llofft
o cedr-wydd wedi ei liwio â fermilion.
15 r A gei di deyrnasu, am i ti amgaeu mewn cedr- r 2 Bren.
wydd? oni fwytaodd, ac oni yfodd dy dad, ac oni bu 14, 3, 4
dda iddo, tra y gwnaeth efe farn, a chyfiawnder? Diar. 16, 12
16 s Tra y rhoddodd efe farn am gwyn y truan, a'r Sal. 128, 2
tlawd, yna y llwyddodd: ond [o herwydd] fy adnabod 1 Cor. 10, 31
i [yr oedd] hyn medd yr Arglwydd? Esa. 3, 10
17 t Er hynny dy lygaid ti a'th galon nid [ydynt] s Hos. 4, 2
onid ar dy fudd, ac ar dywallt gwaed gwirion, ac ar t Deut. 17, 17
wneuthur trais, a cham.
18 u Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd am u 2 Bren.
Iehoacim fab Iosia frenin Iuda, Ni alarant am dano 23, 30
[gan ddywedyd,] O fy mrawd, neu O fy chwaer: ni 2 Cron. 35, 24
alarant am dano ef [gan ddywedyd,] Oh Iôr, neu Oh 1 Bren. 18
ei ogoniant ef. 30
19 v Fel assyn y cleddir ef wedi ei lusco ai daflu allan v 2 Cron.
o byrth Ierusalem. 36, 6
20 w Dring i Libanus a gwaedda, dot ti dy lef yn w 2 Bren.
Basan, a bloeddia yn y bylchau: canys pob annwylyd 24, 6
i ti a ddinistriwyd. 2 Cron. 36, 6
21 x Dywedais wrthit pan oedd esmwyth arnat, tithe x Ezec.
a ddywedaist, Ni wrandawaf: dymma dy arfer o'th 33, 31
ieuenctid, sef na wrandewit ar fy llais.
22 y Y gwynt a bortha dy holl fugeiliaid, a'th gar- y Hos. 4,
iadau a ânt i gaethiwed: yna i'th gywilyddir ac i'th 19
wradwyddir am dy holl ddrygioni. Dat. 18, 3
23 z Ti yr hon wyt yn trigo yn Libanus, wedi nythu z Diar. 1,
yn y cedr-wydd, pa hawddgarwch fydd i ti pan ddelo 28
gwewyr arnat [fel] cnofeudd [gwraig] yn escor? Esa. 10, 3. Hos. 5, 6
24 a [Fel] yr ydwyf yn fyw medd yr Arglwydd, pe a 2 Bren.
bydde Conanies mab Iehoiacim brenin Iuda yn fodrwy 24, 6
ar fy neheulaw: diau y tynnwn di oddi yno. Hag. 2, 23. Can. 8, 6
25 Ac mi a'th roddaf di yn llaw y rhai sy yn ceisio
dy enioes, ac yn llaw y rhai y mae arnat ofn eu hwyn-
ebau, ac i law Nabuchodonosor brenin Babilon, ac i
law y Caldeaid.
26 b Bwriaf dithe hefyd a'th fam yr hon a'th escorodd b 2 Cron.
i wlad ddieithr yr hon ni'th anwyd ynddi: ac yno y 24, 12
byddi farw. Esa. 22, 17
27 Ac am y wlâd yr hon y bydd arnynt hiraeth am 2 Cron. 36, 10
ddychwelyd iddi, ni ddychwelant yno.
28 c Ai delw ddirmygus, drylliedic [yw] y gŵr hwn c Hos. 8, 8
Conanias? ai ynte llestr heb hoffter iddo? pa ham y Luc. 16, 14
bwriwyd ymmaith ef ai hâd, ac y taflwyd ef i wlâd yr Sal. 31, 12
hon nid adwaenent?
29 O ddaiar, ddaiar, ddaiar, gwrando air yr Arglwydd.
30 d Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Scrifennwch y d 1 Cron.
gŵr hwn yn ddiblant: gŵr ni ffynna yn ei ddyddiau, 3, 15
re ni ffynna oi hâd ef un a eisteddo ar orseddfa Dafydd, Mat. 1, 12
nac a lywodraetho mwyach yn Iuda.

## PEN. XXIII.

*Bygwth yn erbyn y bugeiliaid y rhai ydynt yn ysceuluso y praidd. 5 Dyfodiad y Bugail Crist. 9 Beiau y gau-brophwydi.*

GWAE e y bugeiliaid y rhai ydynt yn difetha, ac yn e Mat. 23,
gwascaru defaid fy mhorfa, medd yr Arglwydd. 13, 23
2 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Ezec. 34, 2, 3
am y bugeiliaid y rhai ydynt yn bugeilio fy mhobl: Mat. 9, 36
Chwi a wascarasoch fy nefaid, ac ai hymlidiasoch, ac Ezec. 34, 4
nid ymwelsoch â hwynt: wele fi yn ymweled â chwi,

am ddrygioni eich gweithredoedd medd yr Arglwydd.
f Ioan 10, 16 3 f Ac mi a gasclaf weddill fy nefaid o'r holl diroedd
lle y gyrrais hwynt, ac mi ai dychwelaf hwynt iw cor-
lannau: yna yr amlhânt, ac y chwanegant.
4 Gosodaf hefyd arnynt fugeiliaid y rhai ai bugeiliant
hwynt, fel nad ofnant, ac na ddychrynant, ac na bydd-
ant yn eisieu, medd yr Arglwydd.
g Ioan 1, 45 5 g Wele y dyddiau yn dyfod medd yr Arglwydd fel
Zec. 3, 8 y cyfodwyf i Ddafydd flagurun cyfiawn yr hwn a deyrn-
Esa. 9, 7 asa yn Frenin, ac a lwydda, ac a wna farn, a chyfiawn-
a 11, 25 Sal. 72, 2 der yn y tir.
Rhuf. 11, 25 6 Yn ei ddyddiau ef yr achubir Iuda, ac Israel a
Ezec. 37, 19 bresswylia yn ddiogel: a hyn fydd ei enw [ar] yr hwn
Hos. 1, 11 y gelwir ef, YR ARGLWYDD EIN CYFIAWN-
1 Cor. 1, 30 DER.
7 Am hynny wele y dyddiau yn dyfod medd yr Ar-
2 Cor. 5, 21 glwydd pryd na ddywedant mwyach, Byw yw'r Ar-
glwydd yr hwn a ddug feibion Israel i fynu o wlad
yr Aipht:
h Obadia 8 h Eithr byw yw'r Arglwydd yr hwn a ddug i fynu,
adnodau ac a dywysodd hâd tŷ Israel o dir y gogledd, ac o bob
15, 19. 20 Esa. 27, gwlad lle y bwriaswn i hwynt: a hwy a gânt aros yn
12 a 65, 10 eu gwlad eu hun.
i Galar. 9 i O herwydd y gau-brophwydi y drylliodd fyng-
2, 24 Sal. 51, 17 halon ynof, a'm holl escyrn a grynasant: yr ydwyf
Hab. 3, 16 fel un meddw, ac fel un wedi i wîn ei orchfygu: rhac
2 Cron 36, 15 ofn yr Arglwydd, ac rhac ofn ei eiriau sanctaidd ef.
10 Canys llawn yw yr ddaiar o odineb-wyr, o her-
wydd llwon y gofidiodd y ddaiar, ac y gwywodd trig-
leoedd yr anialwch, ie, eu helynt sydd ddrwg, ai cad-
ernid nid [yw] iniawn.
j Ioan 2, 16 11 j Canys y prophwyd a'r offeiriad hefyd a ragrith-
iasant, yn fy nhŷ fy hun hefyd y cefais eu drygioni
hwynt, medd yr Arglwydd.
12 Am hynny y bydd eu ffordd yn llithric iddynt,
mewn tywyllwch y bwrir hwynt ymmaith, a syrthiant
ynddi: canys myfi a ddygaf arnynt ddrygfyd [sef]
blwyddyn eu gofwy medd yr Arglwydd,
k Hos. 7, 1 13 k Ar brophwydi Samaria y gwelais hefyd ddiflas-
Esa. 9, 16 ter: prophwydasant yn enw Baal, a hudasant fy
mhobl Israel.
l Act. 20, 30 14 l Ac ar brophwydi Ierusalem y gwelais frynti
2 Tim 4, 3 mawr, sef torri priodas, a rhodio mewn celwydd, cyn-
Ezec. 13, 22 northwyasant hefyd ddwylo y drygionus fel na ddy-
chwele neb oddi wrth ei ddrygioni: pob un o honynt
sydd i mi fel Sodoma ai thrigolion, [ac] fel Gomora.
m Dat. 19, 20 15 m Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd y llu-
oedd am y prophwydi hyn: Wele mi ai bwydaf hwynt
â'r wermod, ac ai diodaf hwynt â dwfr bustl; canys
oddi wrth brophwydi Ierusalem yr aeth lledrith allan
i'r holl dir.
n Mat 7, 15 16 n Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Na
wrandewch ar eiriau y prophwydi sy yn prophwydo
Diar 19, 25 i chwi, dyscu oferedd y maent i chwi: gweledigaeth-
Dat 17, 2 au eu calon eu hunain a lefarant, [ac] nid o enau yr
2 Pedr 2, 2 3 Arglwydd.
o Ezec 13, 10 17 o Gan ddywedyd y dywedant wrth fy nirmygwyr,
Mica 3, 11 Yr Arglwydd a ddywedodd y bydde i chwi heddwch,
ac [wrth] bob un sydd yn rhodio wrth amcan ei galon
ei hun y dywedasant, Ni ddaw arnoch niwed.
p Iob 15, 8 18 p Canys pwy a safodd yng-hyfrinach yr Arglwydd?
ac a welodd, ac a glywodd ei air ef? pwy hefyd a ys-
tyriodd, ac a wrandawodd ei air ef?
q Nahu 3 19 q Wele rhyferthwy yr Arglwydd [sef] llidiawg
Hos 11 6 rwydd aiff allan, a rhyferthwy angerddol a syrth ar
ben y drygionus.

20 Digofaint yr Arglwydd ni ddychwel nes iddo
wneuthur, a siccrhau meddwl ei galon: yn y dydd-
iau diwethaf y deallwch hynny yn eglur.
21 r Ni hebryngais i y prophwydi [hyn,] etto hwynt r Mat 15
a redasant: ni leferais wrthynt, er hynny hwynt a
brophwydasant.
22 s Pe safasent yn fyng hyfrinach, yna hwy a s 1 Bren
ddangosasent fyng-eiriau i'm pobl: gwnaethent he- 22 19
fyd iddynt ddychwelyd oi ffordd ddrwg, ac oddi wrth
eu dychymygion drygionus.
23 t Ai Duw o agos ydwyfi medd yr Arglwydd, ac t Sal 139
nid Duw o bell? 11
24 u A lecha un yn ei loches fel na's gwelwyfi ef medd u Sal 139
yr Arglwydd? onid ydwyfi yn llenwi y nefoedd a'r 7
ddaiar medd yr Arglwydd? 1 Bren 8 27
25 v Mi a glywais beth a ddywedodd y prophwydi y v Num 12
rhai ydynt yn prophwydo celwydd yn fy enw, gan 6
ddywedyd, Breuddwydiais, breuddwydiais.
26 w Pa hyd y bydd [hyn] yng-halon y prophwydi w Sal 4 4
[sef] prophwydo celwydd, a prophwydo dichell eu Eph 4 14
calon eu hunain?
27 x Y rhai ydynt yn meddylio peri i'm pobl ang- x Act 13 8
hofio fy enw trwy eu breuddwydion, y rhai a fyneg- Barn 3 7
ant bob un i'w gymydog: megis yr anghofiodd eu 8
tadau fy enw drwy Baal.
28 y Y prophwyd yr hwn y del breuddwyd iddo, y 1 Pedr
dangosed ei freuddwyd, a'r hwn y dêl fyng-air atto 4, 11
llefared fyng-air [mewn] gwirionedd: beth [a wna] yr 2 Cor 2 17
col gyd â'r gwenith? medd yr Arglwydd. a 6 14
29 z Ond yw fyng-air i megis tân medd yr Arglwydd, z Luc 24 32
ac fel gordd yn dryllio y graig? Rhuf 1 16
30 a Am hynny wele mi a [ddeuaf] yn erbyn y pro- 16
phwydi (medd yr Arglwydd) y rhai ydynt yn lled- 2 Cor 10 45
rata fyng-eiriau bob un oddi ar ei gymydog. Sal 89 36
31 b Wele fi yn erbyn y prophwydi (medd yr Ar- a Deut 18 20
glwydd) y rhai a wenhiaithant, ac a ddywedant [Yr Act 20
Arglwydd] a'i dywedodd. 27
32 c Wele fi yn erbyn y rhai a brophwydant freu- b Esa 30 10
ddwydion celwyddoc medd yr Arglwydd, ac ai my- c Seph 3 4
negant, ac a hudant fy mhobl trwy eu celwydd, ai 2 Pedr 2 1
gwagedd, a mi heb eu gyrru hwynt, ac heb orchymyn Galar 2
iddynt: am hynny ni wnant ddim lles i'r bobl hyn 14
medd yr Arglwydd.
33 d A phan ofynno y bobl hynn, neu y prophwyd d 2 Pedr 3 4
neu yr offeiriad i ti gan ddywedyd, Beth [yw] baich 2 Bren 9
yr Arglwydd? ti a ddywedi iddynt beth [yw] yr baich, 25
[sef] mai eich gwrthod a wnaf medd yr Arglwydd. Esa 13 1 Mal 1 1
34 A'r prophwyd a'r offeiriad, a'r bobl y rhai a ddy- Hos 9 13
wedo, Baich yr Arglwydd: myfi a ymwelaf â'r gŵr
hwnnw, ac â'i dŷ.
35 Fel hyn y dywedwch bob un wrth ei gilydd, a
phob un wrth ei frawd, Beth a atebodd yr Arglwydd,
neu beth a lefarodd yr Arglwydd?
36 e Ond am faich yr Arglwydd na choffewch mwy- e Hos 2 16
ach, canys baich i bawb fydd ei air ei hun: o herwydd
chwychwi a wyrasoch eiriau y Duw byw, Arglwydd y
lluoedd ein Duw ni.
37 Fel hyn y dywedi wrth y prophwyd: Pa ateb
a roddodd yr Arglwydd i ti? a pha beth a lefarodd
yr Arglwydd?
38 Ac os dywedwch chwi, Baich yr Arglwydd, yna
fel hynn y dywed yr Arglwydd, Am i chwi ddywed-
yd y gair hwn, baich yr Arglwydd a mi wedi anfon
attoch gan ddywedyd, Nac yngenwch am faich yr f Hos 4 6
Arglwydd, Deut 18 19 Sal 89 39
39 f Am hynny wele myfi a'ch codaf chwi yn faich, Hos 4 6

ac a'ch taflaf chwi, a'r ddinas yr hon a roddais i chwi,
ac i'ch tadau o'm golwg.
40 Ac mi a roddaf arnoch warthrudd tragywyddol,
a gwradwydd tragywydd, yr hwn nid anghofir.

## PEN. XXIV.

*Gweledigaeth y ddau gawelled ffigus, ai dirnad.*

gAmos 7, 1 a 8, 1 2 Bren 24, 12 2 Bren 25, 8 YR g Arglwydd a ddangosodd i mi weledigaeth,
ac wele ddau gawell o ffigus wedi eu gosod ar
gyfer teml yr Arglwydd, wedi i Nabuchodonosor
brenin Babilon gaethgludo Iechonias fab Iehoacim
brenhin Iuda, a thywysogion Iuda gyd â'r cywraint,
a'r celfydd o Ierusalem ai dwyn i Babilon.
h Mica 7, 1 2 h Un cawell [oedd] o ffigus da iawn fel ffigus yr
addfediad cyntaf: a'r cawell arall oedd o ffigus drwg
iawn, ac ni ellid moi bwyta rhag eu dryced.
3 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthif, Beth a weli
di Ieremi? ac mi a ddywedais Ffigus: y ffigus da yn
dda iawn, a'r rhai drwg yn ddrwg iawn, fel na ellir
eu bwyta rhac eu dryced.
4 Yna y daeth gair yr Arglwydd attaf gan ddywedyd,
i Sal 94, 12 5 i Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw Israel, Fel
[yr adwaenost ti] y ffigus da hyn, felly yr adwen i
gaeth-glud Iuda y rhai a anfonais o'r lle hwn i wlad
y Caldeaid er daioni [iddynt.]
j Sal 94, 15 Neh 5, 19 6 j Ac mi a osodaf fyng-olwg arnynt er daioni, ac ai
dygaf trachefn i'r wlad hon, ac ai hadeiladaf hwynt,
ac ni ddifethafi hwynt, plannaf hefyd hwynt, ac ni's
diwreiddiaf hwynt.
k Iago 1, 17 Deut 30, 6 Sal 51, 6 7 k Rhoddaf hefyd iddynt galon i'm hadnabod, mai
yr Arglwydd ydwyf: a hwynt a fyddant yn bobl i mi,
a minnef a fyddaf yn Dduw iddynt: canys hwy a dro-
ant attafi ai holl galon.
l 2 Bren. 25, 26 8 l Ac fel yr adwaenost y ffigus drwg y rhai nid
ellir eu bwyta rhac eu dryced (canys fel hyn y dywed
yr Arglwydd) Felly y rhoddaf Sedecia frenin Iuda,
ai bennaethiaid, a gweddill Ierusalem, y rhai a wedd-
illwyd yn y wlad hon, a'r rhai sydd yn aros yn nhir
yr Aipht.
9 Ie rhoddaf hwynt i drallod [a] drygfyd drwy holl
deyrnasoedd y ddaiar, yn wradwydd ac yn ddihareb,
yn watworgerdd, ac yn felldith ym mhob man lle y
gyrrwyd hwynt.
10 Ac mi a anfonaf arnynt y cleddyf, newyn a haint:
nes eu darfod oddi ar y ddaiar yr hon a roddais iddynt,
ac iw tadau.

## PEN. XXV.

*Ieremi yn prophwydo y parhâu eu caethiwed hwynt ddeng-mhlynedd a thrugain. 12 Dinistr ar Babilon. 15 Ac ar genhedloedd eraill wedi hyny.*

m Dan. 1, 1. 2 Bren 24, 2 Ezec. 19, 4 Y GAIR m yr hwn a ddaeth at Ieremi am holl bobl
Iuda, yn y bedwaredd flwyddyn i Iehoacim fab
Iosiah frenin Iuda: hon [oedd] y flwyddyn gyntaf i
Nabuchodonosor frenin Babilon,
n Ezec. 3, 17 2 n Yr hwn a lefarodd y prophwyd Ieremi wrth holl
bobl Iuda, ac wrth holl bresswyl-wyr Ierusalem, gan
ddywedyd,
o Sal. 10, 8 3 o Er y drydedd flwyddyn ar ddec i Iosiah fab Amon
frenin Iuda, hyd y dydd hwn, hon yw y drydedd
flwyddyn ar hugain y mae gair yr Arglwydd gyd â
mi: ac mi a ddywedais wrthych gan foreu godi, a
llefaru, ond ni wrandawsoch.
4 A'r Arglwydd a anfonodd attoch chwi, ei holl
weision, y prophwydi, gan foreu-godi: (ond ni wran-
p 2 Bren. 17, 13 Esa. 9, 8 Sal. 37, 27 dawsoch, ac ni ogwyddasoch eich clustiau i glywed.)
5 p [A] chan ddywedyd, Dychwelwch yr awr hon
bob un oddi wrth ei ffordd ddrwg, ac oddi wrth
ddrygioni eich gweithredoedd: a chwi a gewch drigo
yn y tir yr hwn a roddodd yr Arglwydd i chwi, ac
i'ch tadau byth, ac yn dragywydd.
6 q Ac nac ewch ar ol duwiau dieithr i'w gwasan- q Ex. 20, 3
aethu, ac i ymgrymmu iddynt: ac na lidiwch fi â 4
gweithredoedd eich dwylo, fel na wnelwyf niwed i
chwi.
7 r Er hynny ni wrandawsoch arnaf medd yr Ar- r Sal. 78,
glwydd, eithr digiasoch fi â gweithredoedd eich dwy- 40 Deut. 32,
lo, er drwg i chwi eich hunain. 21
8 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Iob 35, 6
O herwydd na wrandawsoch fyng-eiriau,
9 s Wele mi a anfonaf am, ac a gymmeraf holl deu- s Ezec. 29,
luoedd y gogledd medd yr Arglwydd, a Nabuchodo- 18
nosor brenin Babilon fyng-was, ac mi ai dygaf hwynt Sal. 119,
yn erbyn y wlad hon, ac yn erbyn ei phresswyl-wyr, 91 2 Bren. 24,
ac yn erbyn yr holl genhedloedd hyn oddi amgylch: 7
difrodaf hwynt hefyd, a gosodaf hwynt yn chwithder,
ac yn chwibaniad, ac yn anrhaith tragywyddol.
10 t Paraf hefyd i lais hyfrydwch, ac i lais llawenydd, t Hos. 2,
i lais y priod-fab, ac i lais y briod-ferch, i sŵn y 11
meini melinau, ac i lewyrch y canhwyllau ballu gan- Esa. 24, 7 Preg. 12,
ddynt. 4
11 u A'r holl dir hwn fydd yn ddiffaethwch, ac yn Dat. 18,
anghyfanedd, a'r cenhedloedd hyn a wasanaethant 12 Esa. 3, 1
frenin Babilon ddeng-mhlynedd a thrugain. u 2 Bren. 24, 10, 16
12 v A phan gyflawner deng-mlynedd a thrugain Ezec. 3?,
myfi a ymwelaf â brenin Babilon, ac a'r genhedlaeth 21
hono medd yr Arglwydd am eu hanwiredd hwynt, Ie v 2 Cron.
ag â gwlad y Caldeaid: ac mi ai gosodaf hi yn anghyf- 36, 21
annedd tragywyddol.
13 Dygaf hefyd ar y wlad honno yr holl eiriau y w Esa. 13,
rhai a leferais i yn ei herbyn, sef cwbl a'r y sydd yn 19
scrifennedic yn y llyfr hwn: yr hyn a brophwydodd
Ieremi yn erbyn yr holl genhedloedd.
14 x Canys cenhedloedd lawer, a brenhinoedd mawr- x Esa. 13,
ion a wnant i'r rhai hynn eu gwasanaethu: felly y 4 Dat. 18, 6
talaf iddynt yn ôl eu gweithredoedd, ac yn ôl gwaith Mat. 7, 2
eu dwylo.
15 y Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Duw y Dat. 14,
Israel wrthyfi: Derbyn di y phiol hon o win [fy] nig- 10
ofaint o'm llaw, a dot ti hi i'w hyfed i'r holl genhedl-
oedd, y rhai i'th yrais di attynt.
16 z Fel yr yfant ac y brawychant, ac y gwallgofant z Ezec. 23,
rhag y cleddyf yr hwn a anfonaf yn eu plith. 34
17 Yna mi a dderbynnais y phiol o law yr Arglwydd,
ac a'i rhoddais iw hyfed i'r holl genhedloedd, y rhai
yr anfonase yr Arglwydd fi attynt.
18 a I Ierusalem, ac i ddinasoedd Iuda, i'w brenhin- a 1 Pedr 4,
oedd hi, ac iw thywysogion: iw rhoddi hwynt yn ddi- 17 Ezec. 9, 6
ffaethwch, yn anghyfannedd yn chwibianad, ac yn Deut. 4,
felldith fel [y gwelir] heddyw, 20 1 Bren. 8
19 b I Pharao frenin yr Aipht, ac iw weision, iw dy- 24
wysogion ef hefyd, ac iw holl bobl, b Gen. 12, 15
20 c Ac i bob math ar bobl, ac i holl frenhinoedd c Ezec 30,
gwlad Hus, a holl frenhinoedd gwlad y Philistiaid, ac 5 Sal. 72, 10
i Ascalon, Azah, Accaron, a gweddill Asdod,
21 I'r Edomiaid, a'r Moabiaid, ac i feibion Ammon,
22 I holl frenhinoedd Tirus hefyd, ac i holl frenhin-
oedd Sidon, ac i frenhinoedd yr ynysoedd y rhai [yd-
ynt] tros y môr,
23 d I Dedan, a Thema, a Buz: ac i bawb o gyrrau d Gen. 10,
eithaf y byd, 7 a 22, 21
24 e Ac i holl frenhinoedd Arabia [gyfoethog,] ac i e 2 Cron 9,
holl frenhinoedd yr Arabiaid y rhai ydynt yn trigo 14
yn yr anialwch,

fGen.25, 25 f Ac i holl frenhinoedd Zimri, ac i holl frenhin-
25 Esa13,17 oedd Elam, ac i holl frenhinoedd y Mediaid,
26 Ac i holl frenhinoedd y gogledd, agos, a phell,
pob un at ei gilydd, ac i holl deyrnasoedd y byd y rhai
ydynt ar wyneb y ddaiar: brenin Sesach a ŷf ar eu
hôl hwynt.
gDat.18, 27 g Am hynny dywet wrthynt, Fel hynn y dywed-
21 Mica7,8 odd Arglwydd y lluoedd Duw Israel: Yfwch a medd-
Sal.37,36 wch, a chwdwch, a syrthiwch, ac na chyfodwch gan
y cleddyf yr hwn a anfonwyf i'ch plith.
28 Ac os gwrthodant dderbyn y phiol o'th law di i
yfed, yna dywet, Fel hynn y dywedodd Arglwydd y
lluoedd, Diau yr yfwch.
hEzec.9, 29 h Canys wele mi a ddechreuais ddrygu y ddinas
6 yr hon y gelwir fy enw arni, ac a ddiengwch chwi?
1 Pedr 4, na ddiengwch, canys yr ydwyfi yn galw am gleddyf
6 Ezec. 38, ar holl drigolion y ddaiar medd Arglwydd y lluoedd.
21 iRhuf. 1, 30 i Am hynny prophwyda wrthynt yr holl eiriau
18 hynn, a dywet wrthynt: Yr Arglwydd oddi uchod a
Ioel 3,19 rua, ac a rydd ei lef o drigle ei sancteiddrwydd, gan
Amos1,2 ruo y rhua efe yn ei lŷs, bloedd a ddyru efe ar holl
Sal.132, bresswyl-wŷr y ddaiar fel rhai yn sathru [grawn-win.]
14 jEsa.34,8 31 j Daw twrwf hyd eithafoedd y ddaiar, canys [y
Ioel 3,2 mae] cwyn rhwng yr Arglwydd a'r cenhedloedd, efe
Ezec.38, a ymddadle â phob cnawd, y drygionus a ddyru efe
22 i'r cleddyf medd yr Arglwydd.
kEsa.30, 32 k Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Wele
28 ddrwg yn myned allan o genhedlaeth i genhedlaeth:
a rhyferthwy mawr yn cyfodi o ystlysoedd y ddaiar.
33 l A lladdedigion yr Arglwydd a fyddant y dwth-
lSeph. 2, wn hwnnw o'r naill gwrr i'r ddaiar hyd y cwrr arall
12 Sal.83,10 i'r ddaiar, ni alerir drostynt, ac ni's cesglir, ac ni's
cleddir hwynt, fel tommen y byddant ar wyneb y
ddaiar.
mDat.18 34 m Udwch fugeiliaid, a gwaeddwch, ac ymdreigl-
10 Ezec.34, wch mewn lludw, chwi flaenoriaid y praidd, canys
16 cyflawnwyd dydd eich lladdfa, a'ch gwasgarfa, a chwi
Sal.57,13 a syrthiwch fel llestr annwyl.
nAmos2, 35 n Methodd gan y bugeiliaid gael lle i ffoi: a chan
14 flaenoriaid y praidd ddiangc.
Sal.50,21 Mal. 4,1 36 o[Clywir] llef gwaedd y bugeiliaid, ac udfa blaen-
o Dat. 6, oriaid y praidd: am i'r Arglwydd anrheithio eu porfa
16 a 18,16 hwynt.
pDat. 14 37 p A'r anneddau heddychlon a ddryllir gan lid
10 [a] digofaint yr Arglwydd.
38 Efe a wrthododd ei babell, fel cenaw llew: am
fod eu tir yn anghyfannedd, gan lid y gorthrymmwr,
a chan lid ei ddigofaint ef.

PEN. XXVI.

*Pregeth Ieremi. 7 Yr offeiriaid yn ddal ef, ac yn achwyn rhacddo. 22 Lladdiad Urias.*

YN nechreu teyrnasiad Iehoacim fab Iosia brenin
Iuda y daeth y gair hwn oddi wrth yr Arglwydd,
gan ddywedyd,
qAct.20, 2 q Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Saf di ym mhorth
27 Mat. 28, tŷ yr Arglwydd, a llefara wrth holl ddinasoedd Iuda,
20 y rhai a ddelont i addoli i dŷ yr Arglwydd yr holl
Ezec. 3, eiriau y rhai a orchymynnaf i ti eu llefaru wrthynt,
10 nac attal air.
rGen.6,6 3 r Ond odid hwy a wrandawant, ac a ddychwelant
Iona 3,8 bôb un oi ffordd ddrwg: ac mi a edifarhaf am y drwg
yr hwn a amcenais ei wneuthur iddynt am ddrygioni
eu gweithredoedd.
sLef. 26, 4 s A dywet wrthynt, Fel hyn y dywedodd yr Ar-
15 Sal.81,13 glwydd, Oni wrandewch arnaf gan rodio yn fyng-
hyfraith yr hon a roddais ger eich bron,

5 [A] chan wrando ar eiriau fyng-weision y pro-
phwydi y rhai a anfonais i attoch, gan godi yn foreu,
ac anfon, a chwi heb glywed:
6 t Yna y rhoddaf y tŷ hwn fel Silo, a'r ddinas hon tEsa. 65,
a roddaf yn felldigedic gan holl genhedloedd y ddaiar. 15
7 Yr offeiriaid hefyd, a'r prophwydi, a'r holl bobl a
glywsant Ieremi yn llefaru y geiriau hyn yn nhŷ yr
Arglwydd.
8 u A phan ddarfu i Ieremi lefaru yr hyn oll a'r a uGen.19,
orchymynnase yr Arglwydd ei ddywedyd wrth yr holl 4 Mat. 5,
bobl: yna yr offeiriaid a'r prophwydi, a'r holl bobl a 20 Act. 21,
daliasant ef gan ddywedyd, Ti a leddir yn farw. 21
9 v Pa ham y prophwydaist yn enw yr Arglwydd? Mat. 26,
gan ddywedyd, Fel Silo y bydd y tŷ hwn, a'r ddinas 66 vSal.122,
hon a wneir yn anghyfannedd heb un presswylwr: 14
felly yr ymgasclodd yr holl bobl at Ieremi yn nhŷ yr Mat. 26, 67
Arglwydd. Act. 4,1,
10 w Pan glybu tywysogion Iuda y geiriau hyn, yna 2 a 13,45 wBren.
hwy a ddaethant i fynu o dŷ yr brenin i dŷ 'r Ar- 15,35
glwydd: ac a eisteddasant ar ddrws porth newydd [yr]
Arglwydd.
11 x Yna yr offeiriaid a'r prophwydi a lefarasant wrth xDat.18,
y tywysogion, ac wrth yr holl bobl gan ddywedyd, 13 Mat. 23,
Barn marwolaeth [sydd ddyledus] i'r gwr hwn, canys 19 Deut.
efe a brophwydodd yn erbyn y ddinas hon, megis y
clywsoch â'ch clustiau. Ioan 16,
12 y Yna y llefarodd Ieremi wrth yr holl dywysogion, y Act. 4,
ac wrth yr holl bobl, gan ddywedyd, Yr Arglwydd 19 a 5,29
a'm hanfonodd i brophwydo yn erbyn y tŷ hwn, ac
yn erbyn y ddinas hon, yr holl eiriau a'r a glyswoch.
13 z Gan hynny gwellhewch ynawr eich ffyrdd, a'ch zAct. 5,
gweithredoedd, a gwrandewch ar lais yr Arglwydd 26
eich Duw: ac fe a edifarha yr Arglwydd am y drwg
yr hwn a lefarodd efe i'ch erbyn.
14 a Ac wele fyfi yn eich dwylo: gwnewch i mi fel a2Sam 15,
y gweloch yn dda ac yn iniawn. 26
15 b Onid gwybyddwch yn siccr os chwi a'm lladd, bBarn.9,
mai gwaed gwirion yr ydych chwi yn ei roddi arnoch, 24 Ezec.7,3
ac ar y ddinas hon, ac ar ei thrigolion: canys mewn 4
gwirionedd yr Arglwydd a'm hanfonodd attoch i lefaru
lle y clywech yr holl eiriau hyn.
16 c Yna y tywysogion, a'r holl bobl a ddywedasant cGen. 20
wrth yr offeiriaid, a'r prophwydi, Ni [roddwn] ar y 14 1Sam. 25
gwr hwn farn marwolaeth: canys yn enw yr Arglwydd 26
ein Duw y llefarodd efe wrthym. Diar21,1
17 d Yna rhai o henuriaid y wlad a godasant, ac a dSal.118
lefarasant wrth holl gynnulleidfa y bobl gan ddywedyd, 15
18 e Micheas y Morashiad oedd yn prophwydo yn eMica1,
nyddiau Hezeciah brenin Iuda, ac efe a lefarodd wrth 1
holl bobl Iuda gan ddywedyd, Fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Sion a erddir [fel] maes, ac Ieru-
salem a fydd yn garneddau, a mynydd tŷ [yr Arglwydd]
yn uchelfa goedoc.
19 f A roddodd Hezeciah, a holl Iuda ef i farwolaeth? f Esa.37,
oni ofnodd efe yr Arglwydd, ac [oni] weddiodd efe 14 gBren.
ger bron yr Arglwydd? fel yr edifarhaodd yr Ar- 16
glwydd am y drwg yr hwn a amcanase efe yn eu her- Esa. 37, 35
byn? wrth hynny a wnawn ninnau y drwg mawr hwn Luc 3,19
yn erbyn ein heneidiau? Num. 16, 38
20 g Ac yr oedd hefyd wr yn prophwydo yn enw yr Sal. 106,
Arglwydd [sef] Urias mab Semaiah o Ciriathiarim, ac 15 gAct. 5,
efe a brophwydodd yn erbyn y ddinas hon, ac yn er- 37 Barn. 18,
byn y wlad hon yr un modd ag Ieremi. 12
21 h Pan glywodd y brenin Iehoacim, a'i holl gedyrn, Ios. 13,14
a'i dywysogion a ei eiriau ef, yna y brenin a geisiodd ei h 1Bren.
ladd ef: a phan glywodd Urias, yna efe a ofnodd, ac 19,3

a ffôdd ac â aeth i'r Aipht.
i Act. 10, 22 [i] A'r brenin Iehoacim a anfonodd wŷr i'r Aipht
11 2 Bren 23 [sef] Elnathan fab Achbor a gwŷr gyd âg ef i'r Aipht.
12, 14 23 [j] A hwynt a gyrchasant Urias allan o'r Aipht, ac
j Mat. 14, 10 a 23,34 ai dygasant ef at y brenin Iehoacim: yr hwn ai
lladdodd ef â'r cleddyf, ac a fwriodd ei gelain ef i
feddau y cyffredin.
k 2 Bren. 24 [k] Eithr llaw Ahicham fab Saphan oedd gyd âg
25, 22 Dat. 2,10 Ieremi, fel na roddwyd ef i law y bobl i'w ladd.

## PEN. XXVII.

l 1 Bren. 18 9 *Yr Arglwydd yn peri i Ieremi anfon rhwymau i frenin Iuda, ac i'r brenhinoedd oi amgylch iw rhybuddio hwynt, ac i arwyddocau y byddent hwy gaethion i Nabuchodonosor. 9 Rhybudd rhac y gau brophwydi.*

YN nechreu teyrnasiad Iehoacim fab Iosia brenin
Iuda y daeth y gair hwn at Ieremi oddi wrth
yr Arglwydd gan ddywedyd,
l 1 Bren. 2 11 2 [l] Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthif:
Gwna i ti rwymau, a gefynau, a dot hwynt am dy
wddf.
m 2 Bren. 3 [m] Ac anfon di hwynt at frenin Edom, ac at frenin
24. 17 2 Cron. Moab, ac at frenin meibion Ammon, ac at frenin Ty-
36, 13 rus, ac at frenin Sidon yn llaw y cennadau a ddelont
i Ierusalem at Sedecia frenin Iuda.
4 A dot orchymyn gydâ hwynt at eu harglwyddi
gan ddywedyd, Fel hyn y dywedodd Arglwydd y llu-
oedd Duw Israel, Fel hyn y dywedwch wrth eich ar-
glwyddi:
n Dan. 4, 5 [n] Myfi a wnaethum y ddaiar, a'r dynnion, a'r an-
17 Sal. 115, ifeiliaid y rhai [ydynt] ar wyneb y ddaiar â grym
16 mawr, ac â braich estynnedic, ac ai rhoddais hwynt i'r
Dan 2,21 Sal. 75, 6 neb y gwelais yn dda.
o Dan. 2, 6 [o] Ac yn awr mi a roddais yr holl diroedd hyn yn
38 a 4,22 llaw Nabuchodonosor brenin Babilon fyng-wâs:
rhoddaf hefyd anifeiliaid y maes iw wasanaethu ef.
p Dan. 5, 7 [p] A'r holl genhedlaethau ai gwasanaethant ef, ai
1 Deut. 5, fab, a mab ei fab: nes dyfod amser ei wlad ef, ai [am-
26 ser] yntef, yna cenhedloedd lawer a brenhinoedd
Dat. 13,5 Sal. 37,13 mawrion a wnant iddo ef eu gwasanaethu.
Dat. 17,6 8 Ond y genhedlaeth a'r deyrnas yr hon ni 's gwas-
Dan. 5,31 Zec. 2, 9 anaetho ef, sef Nabuchodonosor brenin Babilon, sef y
rhai ni roddant eu gwddf tann iau brenin Babilon: â
haint yr ymwelaf â'r genhedlaeth honno medd yr Ar-
glwydd, nes i mi eu difetha hwynt trwy ei law ef.
9 Am hynny na wrandewch chwi ar eich prophwydi,
nac ar eich dewiniaid, nac ar eich astronomiwyr, nac
ar eich hudolion y rhai ydynt yn llefaru wrthych gan
ddywedyd, Nid rhaid i chwi wasanaethu brenin Ba-
bilon:
q Galar. 2 14 10 [q] Canys celwydd y mae y rhai hyn yn ei bro-
phwydo i chwi, i'ch gyrru chwi ym mhell o'ch gwlad
fel y bwriwyf chwi ymmaith, ac y methoch,
r Diar. 3, 5 11 [r] Ond y genhedlaeth yr hon a roddo ei gwddf
dann iau brenin Babilon, ac ai gwasanaetho ef, y rhai
hynny a adawaf yn eu gwlad eu hun medd yr Ar-
glwydd, a hwynt ai coleddant hi, ac a arhosant ynddi.
12 Ac mi a leferais wrth Sedecia frenin Iuda yr holl
eiriau hyn gan ddywedyd, Rhoddwch eich gwarrau
dan iau brenin Babilon, a gwasanaethwch ef, ai bobl
fel y byddoch byw.
s Ezec. 18 31 13 [s] Pa ham y byddwch feirw, ti a'th bobl trwy y
cleddyf, trwy newyn, a thrwy haint? fel y dywedodd
yr Arglwydd am y genhedlaeth yr hon ni wasanaetho
frenin Babilon?
14 Am hynny na wrandewch ar eiriau y prophwydi
y rhai a lefarant wrthych chwi gan ddywedyd, Nid
rhaid i chwi wasanaethu brenin Babilon: canys y
maent yn prophwydo celwydd i chwi.
15 [t] O herwydd nid myfi ai hanfonodd hwynt medd t Ezec. 13
yr Arglwydd, er hynny hwy a brophwydasant yn fy 15 Mat. 7,15
enw ar gelwydd, i beri i mi eich bwrw chwi ymmaith 2 Thes. 2,
fel y darfydde am danoch chwi, a'r prophwydi y rhai 12
ydynt yn prophwydo i chwi.
16 [u] Myfi a leferais hefyd wrth yr offeiriaid, a'r holl u 2 Cron.
bobl hynn gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Ar- 36, 7, 10
glwydd, Na wrandewch ar eiriau y prophwydi, y rhai
ydynt yn prophwydo i chwi gan ddywedyd, Wele
llestri tŷ yr Arglwydd a ddygir yn eu hôl bellach ar
frys, canys celwydd y maent yn ei brophwydo i chwi.
17 Na wrandewch arnynt, gwasanaethwch chwi
frenin Babilon, fel y byddoch byw: pa ham y bydd
y ddinas hon yn ddiffaethwch?
18 [v] Ond os prophwydi ydynt hwy, ac od ydyw v Gen. 20,
gair yr Arglwydd gydâ hwynt, eiriolant yr awr hon 7 Iob 42, 8
ar Arglwydd y lluoedd, nad elo y llestri y rhai a adaw- Esa. 37,4
yd yn nhŷ yr Arglwydd, ac yn nhŷ brenin Iuda, ac Ezec. 22,
yn Ierusalem i Babilon. 30
19 [w] Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, w 2 Bren.
am y colofnau, ac am y gerwyn, ac am yr stolion, ac 25, 16
am y rhan arall o'r llestri y rhai a adawyd yn y ddinas
hon,
20 Y rhai ni ddug brenin Babilon ymmaith pan
gaeth-gludodd efe Iechonias fab Iehoacim frenin Iuda
o Ierusalem i Babilon, yng-hyd â holl bendefigion
Iuda, ac Ierusalem,
21 [x] Canys fel hynn y dywedodd Arglwydd y llu- x Lef. 26,
oedd Duw Israel am y llestri y rhai a adawyd yn nhŷ 24
yr Arglwydd, ac yn nhŷ brenin Iuda ac Ierusalem: Esa. 5,25
22 [y] Hwynt a ddygir i Babilon, ac yno y byddant y 2 Cron.
hyd y dydd yr ymwelwyf â hwynt medd yr Arglwydd: 36, 18
yna y dygaf fi hwynt i fynu, ac y dychwelaf hwynt i'r Dan. 5,2,
lle hwn. 4 Ezec. 1,

## PEN. XXVIII.

11 a b, 16 2 Cron 36 22
*Gau brophwydoliaeth Hananias. 12 A chywir brophwydoliaeth Ieremi.*

AC [z] yn y flwyddyn honno yn nechreu teyrnasiad z 2 Bren.
Sedecia brenin Iuda, yn y bedwaredd flwyddyn, 24, 18
ar y pummed mis y llefarodd Hananias mab Azzur y 2 Tim. 3,
prophwyd yr hwn oedd o Gibeon wrthifi yn nhŷ yr 8
Arglwydd yng-ŵydd yr offeiriaid, a'r holl bobl gan
ddywedyd,
2 [a] Fel hyn y llefarodd Arglwydd y lluoedd Duw a 1 Bren.
Israel gan ddywedyd, Myfi a dorrais iau brenin Ba- 13, 18
bilon.
3 O fewn yspaid dwy flynedd myfi a ddygaf tra-
chefn i'r lle hwn holl lestri tŷ yr Arglwydd y rhai a
ddug Nabuchodonosor brenin Babilon ymmaith o'r
lle hwn, ac ai cludodd i Babilon.
4 [b] Ac mi a ddygaf Iechonias fab Iehoacim frenin b Gen. 27
Iuda, a holl gaeth-glud Iuda (y rhai a aethant i Babi- 40
lon) trachefn i'r lle hwn, medd yr Arglwydd: canys
mi a dorraf iau brenin Babilon.
5 Yna Ieremi y prophwyd a ddywedodd wrth Han-
anias y prophwyd yng-ŵydd yr offeiriaid, ac yng-
ŵydd yr holl bobl y rhai oeddynt yn sefyll yn nhŷ
yr Arglwydd.
6 A'r prophwyd Ieremi a ddywedodd, Amen, poed
felly y gwnelo yr Arglwydd: yr Arglwydd a gyflawno
dy eiriau di, y rhai a brophwydaist, am ddwyn tra-
chefn lestri tŷ yr Arglwydd, a'r holl gaeth-glud o Ba-
bilon i'r lle hwn.
7 Etto gwrando di yr awr hon y gair ymma yr hwn

a lefarafi lle y clywech di, ac lle y clywo yr holl
bobl.
c Lef. 26, 8 c Y prophwydi y rhai a fuant o'm blaen i, ac o'th
14, 15 Deut. 28, flaen dithe er ioed, ac a brophwydasant am wledydd
15, 16 lawer, ac am deyrnasoedd mawrion, am ryfel, ac am
2 Bren 22 ddryg-fyd, ac am haint.
16, 17 Mat. 7, 16 9 d Y prophwyd yr hwn a brophwyde am heddwch,
Ezec. 3, pan ddele gair y prophwyd [i benn] yr adnabyddid y
17 d Deut 18 prophwyd, mai yr Arglwydd ai hanfonase ef mewn
22 gwirionedd.
Esa 8, 20 e 1 Bren. 10 e Yna Hananias y prophwyd a gymmerodd y gef-
22, 11, 14 yn oddi am wddf Ieremi y prophwyd, ac ai torrodd ef.
Sal. 10, 13 f Ezec. 13 11 f A Hananias a lefarodd yng-ŵydd yr holl bobl
22 gan ddywedyd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd,
Mat. 7, 6 Esa. 36, Y modd hynn y torrafi iau Nabuchodonosor brenin
20 Babilon o fewn yspaid dwy flynedd oddi ar warr pob
1 Cor. 11, cenhedlaeth: ac Ieremi y prophwyd a aeth i ffordd.
16 Hab. 2, 1 12 Yna y daeth gair 'r Arglwydd at Ieremi wedi i
Sal. 37, 28 Hananias y prophwyd dorri y gefyn oddi am wddf y
prophwyd Ieremi, gan ddywedyd,
g Deut. 13 g Dos di a dywet wrth Hananias gan ddywedyd,
28, 48 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Gefynnau prenn
a dorraist ti, ond ti a wnei yn eu lle hwynt efynnau o
haiarn.
h Dan. 2, 14 h Canys fel hynn y dywedodd Arglwydd y llu-
48 oedd, Duw Israel, Rhoddaf iau o haiarn, ar warr yr
holl genhedloedd hynn, fel y gwasanaethont Nabu-
chodonosor frenin Babilon, ie hwynt ai gwasanaeth-
ant ef: mi a roddais hefyd anifeiliaid y maes iddo ef.
i Galar. 2, 15 i Yna Ieremi y prophwyd a ddywedodd wrth Ha-
14 nanias y prophwyd, Gwrando atolwg Hananias, ni
anfonodd yr Arglwydd mo honoti, a thi a wnaethost
i'r bobl hyn goelio celwydd.
j Dat. 19, 16 j Am hynny fel hynn y dywedodd yr Arglwydd,
20 Wele mi a'th anfonaf di allan o'r wlad, [o fewn] y
flwyddyn hon y byddi farw: canys ti a leferaist yn
wrthryfelgar yn erbyn yr Arglwydd.
k Num 16 17 k Felly Hananias y prophwyd a fu farw y flwydd-
41 yn honno, yn y seithfed mis.

## PEN. XXIX.

*Llythr Ieremi at y caethion o fewn Babilon. 10 Y mae efe yn prophwydo amser eu rhydd-did.*

l 1 Thes. 3 DYMMA l eiriau y llythr yr hwn a anfonodd Ieremi
2 y prophwyd o Ierusalem at weddill henuriaid y
gaeth-glud, ac at yr offeiriaid, ac at y prophwydi, ac
at yr holl bobl y rhai a gaeth-gludase Nabuchodonosor
o Ierusalem i Babilon,
m 2 Bren. 2 m (Wedi mynediad Iechonias y brenin, a'r frenhines
24, 12 Esa. 39, 7 a'r stafellyddion, tywysogion Iuda, ac Ierusalem a'r
celfydd, a'r cywraint hefyd allan o Ierusalem.)
n Diar. 21 3 n Yn llaw Elasah fab Saphan, a Gemaria fab Helcia
30 Sal. 127, 2 (y rhai a anfonodd Sedecia brenin Iuda at Nabuchod-
onosor frenin Babilon i Babilon) gan ddywedyd,
o Esa. 5, 5 4 o Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd Duw Israel
a 10, 5 wrth yr holl gaeth-glud, yr hon a berais ei chaeth-
a 59, 1, 2 gludo o Ierusalem i Babilon:
5 Adeiledwch dai a phresswyliwch, a phlennwch
erddi, a bwytewch eu ffrwyth hwynt.
p Deut. 7 6 p Cymmerwch wragedd, ac ennillwch feibion, a
8 merched, a chymmerwch wragedd i'ch meibion, a
rhoddwch eich merched i wŷr fel yr escorant feibion,
a merched, ac yr amlhaoch chwi yno, ac na leihaoch.
q Sal. 137 7 q Ceisiwch hefyd heddwch y ddinas yr hon i'ch
8, 9 caeth-gludais iddi, a gweddiwch ar yr Arglwydd
1 Tim. 2, 2 drosti hi: canys yn ei heddwch hi, y bydd heddwch
i chwithau.

8 O herwydd fel hynn y dywedodd Arglwydd y
lluoedd Duw Israel, Na thwylled eich prophwydi y
rhai [ydynt] yn eich mysg chwi mo honoch, na'ch
dewiniaid, ac na wrandewch ar eich breuddwydion y
rhai yr ydych chwi yn eu breuddwydio:
9 Canys y maent hwy yn prophwydo i chwi gelwydd
yn fy enw i: ni anfonais i hwynt medd yr Arglwydd.
10 r O herwydd fel hynn y dywed yr Arglwydd, Pan r Ezec. 1,
gyflawner yn Babilon ddeng-mlynedd a thrugain yr 2 Luc 1, 68
ymwelaf a chwi: yna y cyflawnafi â chwi fyng-air
daionus, am eich dwyn chwi trachefn i'r lle hwn.
11 s O blegit myfi a wn yr amcannion y rhai a am- s Esa. 55,
cenais i am danoch chwi medd yr Arglwydd [sef] 8 1 Pedr 1,
amcannion heddwch, ac nid niwed, i roddi i chwi y 9
diwedd yr hwn yr ydych chwi yn ei ddisgwil.
12 t Yna y gelwch chwi arnaf, ac yr ewch, ac y t Sal. 10, 17
gweddiwch arnafi, a minne a'ch gwrandawaf.
13 u Ceisiwch fi hefyd, ac chwi a'm cewch, canys u Ezec 6,
chwi a'm ceisiwch fi a'ch holl galon. 9 a 36, 37
14 v Gadawaf i chwi fyng-hael medd yr Arglwydd, v Esa. 27,
ac mi a ddychwelaf eich caethiwed, ac a'ch casclaf 12
chwi o'r holl genhedloedd, ac o'r holl leoedd y rhai
i'ch gyrais chwi iddynt medd yr Arglwydd, ac mi a'ch
dygaf chwi trachefn i'r lle yr hwn y perais eich caeth-
gludo chwi allan o honaw.
15 w O herwydd i chwi ddywedyd, Yr Arglwydd a w 2 Pedr
gyfododd brophwydi i ni yn Babilon. 2, 1
16 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd am y
brenin yr hwn sydd yn eistedd ar deyrn-gader Dafydd,
ac am yr holl bobl y rhai ydynt yn aros yn y ddinas
hon, a'ch brodyr y rhai nid aethant allan gydâ chwi
yn y gaeth-glud:
17 [Ië] fel hyn y dywedodd Arglwydd y lluoedd,
Wele fi yn anfon arnynt y cleddyf, a'r newyn, a
haint, ac mi ai rhoddaf hwynt fel y ffigus ffiaidd y rhai
nid ellir eu bwytta rhac eu dryced.
18 x Ac mi ai herlidiaf hwynt â chleddyf, â newyn, x Deut.
ac â haint, ac mi ai rhoddaf hwynt, i [fod] yn derfysc 28, 24 2 Cron 29,
i holl deyrnasoedd y ddaiar, yn felldith, ac yn chwith- 8
dra, yn chwibaniad hefyd, ac yn warth ym mysc yr
holl genhedloedd lle y gyrrais i hwynt.
19 Am na wrandawsant ar fyng-eiriau medd yr Ar-
glwydd y rhai a anfonais i attynt gyd â'm gweision y
prophwydi, gan gyfodi yn foreu, ac anfon: ond ni
wrandawech medd yr Arglwydd.
20 Gan hynny gwrandewch chwi air yr Arglwydd
yr holl gaeth-glud yr hon a anfonais o Ierusalem i
Babilon.
21 y Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd Duw y 2 Pedr
Israel am Ahab fab Colaiah, ac am Sedecia fab Maasi- 2, 1 Can. 2, 15
ah y rhai sy yn prophwydo celwydd i chwi yn fy enw
i: Wele myfi ai rhoddaf hwynt yn llaw Nabuchodono-
sor brenin Babilon, ac efe ai lladd hwynt yng-ŵydd
eich llygaid.
22 z A holl gaeth-glud Iuda yr hon [sydd] yn Babi- z Esa 65,
lon a arferant y rhegen [hon] oddi wrthynt hwy, gan 15
ddywedyd, Gosoded yr Arglwydd dy di fel Sedecia, Ruth 4, 11 Dat. 19,
ac Ahab y rhai a bobodd brenin Babilon wrth tân. 20
23 a Am iddynt wneuthur ffolineb yn Israel, a a Mat. 7,
gwneuthur godineb gyd â gwragedd eu cymydogion, 16 Diar. 5,
a llefaru o honynt eiriau iddynt: a minne yn gwybod, 20
ac yn dyst [o hyn] medd yr Arglwydd.
24 Ac wrth Semeiah y Nehelamiad y lleferi di gan
ddywedyd, b 1 Bren.
25 b Fel hyn y llefarodd Arglwydd y lluoedd Duw 21, 8 2 Bren 25
Israel gan ddywedyd, Am i ti anfon yn dy enw dy 18

hun lythyrau at yr holl bobl y rhai [sy] yn Ierusalem,
ac at Sophoniah fab Maasiah yr offeiriad, ac at yr
holl offeiriaid gan ddywedyd,
c Act.26, 24 26 c Yr Arglwydd a'th osododd di yn offeiriad yn lle
2 Bren.9, 11 Iehoiada yr offeiriad i fod yn olygwr yn nhŷ yr Ar-
glwydd ar bob gŵr gorphwylloc, ac yn cymmeryd
arno brophwydo, iw roddi ef mewn carchar a chyff-
ion.
d Act. 5, 40 27 d Ac yn awr pa ham na cheryddi di Ieremi o
Num. 16, 3 Anathoth yr hwn sydd yn prophwydo i chwi?
2 Tim 3,8 28 Canys efe a aufonodd attom ni i Babilon, gan
ddywedyd, Hir fydd [y gaethiwed hon,] adeiledwch,
a phresswyliwch a phlennwch erddi, a bwyttewch oi
ffrwyth hwynt.
29 A Sophoniah yr offeiriad a ddarllennodd y lly-
thyr hwn lle y clywodd Ieremi y prophwyd.
30 Yna daeth gair yr Arglwydd at Ieremi gan ddy-
wedyd,
31 Anfon di at yr holl gaeth-glud gan ddywedyd,
Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd am Semeiah y
Nehelamiad, o herwydd i Semeiah brophwydo i chwi,
a minne heb ei anfon ef, a pheri o honaw ef i chwi
goelio celwydd,
32 Am hynny fel hyn y dywedodd yr Arglwydd,
Wele fi yn ymweled â Semeiah y Nehelamiad, ac ai
hâd ef, ni bydd iddo un a eisteddo ym mysc y bobl
hyn, ac ni chaiff efe weled y daioni yr hwn a wnafi
i'm pobl medd yr Arglwydd, am iddo ddywedyd yn
wrthryfelgar yn erbyn yr Arglwydd.

## PEN. XXX.

*Dychweliad y bobl o Babilon. 16 Dialedd ar eu gwrth-wyneb-wyr hwynt. 18 Cyssur i'r eglwys.*

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi wrth yr
Arglwydd gan ddywedyd,
e Dat. 1, 19 2 e Fel hyn y llefarodd yr Arglwydd Duw Israel gan
Rhuf. 15, 4 ddywedyd, Scrifenna i ti yr holl eiriau y rhai a leferais
i wrthit mewn llyfr.
Iob 19,23 3 f Canys wele y dyddiau yn dyfod medd yr Ar-
f Ezec.28 3 glwydd i mi ddychwelyd caethiwed fy mhobl Israel,
Hos. 3, 5 ac Iuda medd yr Arglwydd: canys mi ai dygaf hwynt
Rhuf. 11 25 trachefn i'r wlad yr hon a roddais iw tadau, ac hwynt
Ezec.37, 16 ai etifeddant hi.
Amos 9, 14, 15 4 Dymma hefyd y geiriau y rhai a lefarodd yr Ar-
glwydd am Israel, ac am Iuda.
g Dan. 5, 6 a 6, 16 5 g O herwydd fel hyn y dywed yr Arglwydd, Llef
a 18, 10 dychryn a glywsom ni, ofn, ac nid heddwch.
h Esa. 66, 7 6 h Gofynnwch yr awr hon, ac edrychwch a escora
gwrryw, pa ham yr ydwyfi yn gweled pob gwr a'i
ddwylo ar ei lwynau, fel gwraig wrth escor? ac y
troiwyd yr holl wynebau yn lesni?
Ioel 2,11 7 i Och rhac maint y dydd hwn, heb gyffelyb iddo,
Dan.12,1 sef amser blinder [yw] hwn i Iacob: ond efe a waredir
Zec.14,2, 3 o honaw.
Dat. 7,14 8 j Canys y dydd hwnnw medd Arglwydd y lluoedd
Esa. 60, 8 y torrafi ei iau ef oddiar dy warr di, ac mi a ddrylliaf
dy rwymau, ac ni chaiff dieithriaid wneuthur iddo ef
eu gwasanaethu hwynt mwyach.
Ezec 34 23 9 k Eithr hwynt a wasanaethant yr Arglwydd eu Duw,
a Dafydd eu brenin yr hwn a godafi iddynt.
Act. 2, 30 10 Nac ofna di O fyng-was Iacob medd yr Arglwydd,
ac na ddychrynna di O Israel: canys wele mi a'th
achubaf di o bell, a'th hâd o dir eu caethiwed hwynt,
ac Iacob a ddychwel, ac a orphywys, ac a gaiff lonydd,
ac heb ddychrynnudd.
m Dan.2, 15 11 m Canys yr ydwyfi gyd â thi medd yr Arglwydd
Esa. 27,8 i'th achub di, o herwydd mi a wnaf drangc ar yr holl
genhedloedd lle i'th wascerais: etto ni ddifethafi mo
honot ti, eithr mi a'th gospaf di mewn barn, ac ni
thorrafi di ymmaith yn llwyr.
12 n O blegit fel hyn y dywed yr Arglwydd, Anghefol n 2Cron. 36, 15
*yw* dy yssigdot, a dolurus *yw* dy bla,
13 o Nid [oes] a farno dy gŵyn [nac a'th] iachao: nid o Mat. 9, 36
[oes] feddiginiaeth o iechyd i ti.
14 p Dy holl gariadau a'th anghofiasant, ni cheisiant p Iob 13, 24
mo honot ti, o herwydd i mi dy daro â dyrnod gelyn Esa. 62,5
[sef] a chospedigaeth greulon: am amlder dy anwir- Hos.5,14
edd: [canys] dy bechodau a'th orchfygasant.
15 q Pa ham y bloeddi am dy yssigtod? anghefol q Galar.3 39
[yw] dy ddolur: am amlder dy anwiredd, dy bechodau Mica 7,9
a'th orchfygasant, [a] minne a wneuthum hyn i ti.
16 r Am hynny y rhai oll a'th yssant a yssir, a chwbl r Dat. 13, 10
o'th holl elynnion a ânt mewn caethiwed: a'th an- Esa. 10,5
rheith-wŷr di a fyddant yn anrhaith, a'th holl yspeil- 12
wŷr a roddafi yn yspail. Dat. 19, 17, 18
17 s Canys myfi a roddaf iechyd i ti, ac a'th iachaf Esa 14,2
di o'th friwiau medd yr Arglwydd: O blegit bwynt s Esa. 62, 4
a'th alwasant di, yr hon a fwriwyd ymmaith [gan ddy- Galar. 2, 15
wedyd,] Sion yr hon nid yw [neb] yn ei cheisio. Phil.2,21
18 t Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Wele myfi a Galar. 1, 2
ddychwelaf gaethiwed lluestai Iacob, ac a gymmeraf t Esa. 11, 12
drugaredd ar ei anneddau ef: a'r ddinas a adeiledir ar
ei charnedd, a'r llŷs a erys ar ei iawn le. Obad.20
19 u A moliant a aiff allan o honynt, a llais gorfoledd: Sal. 102, 13
ac mi ai hamlhâf hwynt, ac ni phrinheuir hwynt, ac u Dat. 19, 1, 2
mi ai hanrhydeddaf hwynt, fel na's amherchir. Esa.60,3, 5
20 Eu meibion hefyd fydd megis cynt, ai cynnull-
eidfa a siccrheuir ger fy mron: ac mi a ymwelaf â i
holl orthrym-wyr hwynt.
21 v Ai pendefig fydd o honynt eu hun, ai llywiawdr v Heb. 4, 14
a ddaw allan oi mysc eu hun, ac mi a baraf iddo nessau a 7, 22
a dyfod attaf: canys pwy [yw] yr hwn a glyw ar ei
galon nessau attafi medd yr Arglwydd?
22 w A chwi a fyddwch yn bobl i mi, a minne a w Deut. 7, 6
fyddaf yn Dduw i chwithau.
23 Wele ryferthwy yr Arglwydd yn dyfod allan
[mewn] digter [fel] corwynt parhaus: ar benn yr an-
nuwolion yr erys.
24 x Ni ddychwel digofaint llidioc yr Arglwydd nes x Dat.15, 1
iddo wneuthur, ac nes iddo gyflawni meddwl ei galon
ef: yn y dyddiau diwethaf y deallwch hyn.

## PEN. XXXI.

*Daioni Duw i'r bobl. 23 Llawenydd ysprydol y ffyddloniaid.*

YR y amser hwnnw medd yr Arglwydd y byddaf y Act. 2, 39
Dduw i holl deuluoedd Israel: a hwyntau a
fyddant bobl i mi.
2 z Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Y bobl y rhai a z Ex. 33, 17 a 13,22
ddiangodd rhac y cleddyf a gafodd ffafor yn yr anial-
wch, [trwy i mi] fyned i beri llonyddwch iddo ef
Israel.
3 a Er ystalm yr ymddanghose yr Arglwydd i mi a Esa. 63, 11
[meddant, gan ddywedyd,] A chariad tragywyddol i'th Rhuf. 8, 39
gerais, am hynny yr estynnais i ti drugaredd. Mal. 1, 3
4 b Myfi a'th adeiladaf etto, a thi a adeiledir, O for- Rhuf. 8, 30
wyn Israel: ymdrwssia etto a'th dympanau a dos di b Amos 9 11
allan gyd â'r chwaryddion dawns.
5 c Ti a blenni etto winllannoedd ym mynyddoedd Dat. 19,7
Samaria: plan-wyr a blannant, ac a fwynhânt. c Esa. 65 21
6 d Canys rhyw ddydd y geilw y ceidwad ym my- d 2Cor 6
nydd Ephraim, Codwch, ac awn ni i fynu i Sion at yr Esa 62 6
Arglwydd ein Duw. Mica 4 3
7 e Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Cenwch or- Esa 2 2 3
e Esa 12 6
Dat 18 20

foledd i Iacob, a chrechwenwch am benn y cenhedl-
oedd, cyhoeddwch, molwch, a dywedwch, O Ar-
glwydd cadw dy bobl gweddill Israel.
8 [f] Wele mi ai harweiniaf hwynt o dir y gogledd,
ac mi ai casglaf hwynt o ystlysoedd y ddaiar, y
dall, a'r cloff, y feichiog, a'r escoredic, ar unwaith
gydâ hwynt: cynnulleidfa fawr a ddychwelant ymma.
9 [g] Mewn wylofain y deuant, ac mewn tosturiaethau
y dygaf hwynt trachefn, tywysaf hwynt ar hyd ffryd-
au dyfroedd, mewn ffordd iniawn [fel] na thripbiant
ynddi: o blegit myfi sydd yn dad i Israel, ac Ephraim
yw fyng-hyntafanedic.
10 [h] Gwrandewch air yr Arglwydd O genhedloedd,
a mynegwch yn yr ynysoedd o bell, a dywedwch, Yr
hwn a wascarodd Israel, ai casgl ef, ac ai ceidw, fel
[y ceidw] bugail ei braidd.
11 [i] O herwydd yr Arglwydd a waredodd Iacob, ac
ai hachubodd ef o law yr hwn [oedd] drech nag ef.
12 [j] Am hynny y deuant, ac y canmolant yn uchel-
der Sion, a hwynt a redant at ddaioni yr Arglwydd,
am wenith, ac am win, ac am olew, ac am fwyniant y
defaid, a'r gwarthec: ai henaid fydd fel gardd ddyfr-
adwy, ac ni ofidiant mwyach.
13 [k] Yna y llawenycha y forwyn yn y ddawns a'r
gwŷr ieuaingc, a'r henaf-gwyr yng-hyd: canys myfi a
droaf eu galar i hyfrydwch, ac ai diddanaf hwynt, ac
ai cyssuraf oi tristwch.
14 [l] Ac mi a wrteithiaf enaid yr offeiriaid â braster:
a'm pobl a ddigonir â'm daioni medd yr Arglwydd.
15 [m] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Llef a glywyd
yn Rama, cwynfan, ac wylofain chwerw, Rahel yn
wylo am ei meibion: ni fynne ei chysuro am ei meib-
ion o herwydd nad oeddynt.
16 [n] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Attal dy lêf rhac
wylo, a'th lygaid rhac deigr, canys y mae tâl i'th lafur
medd yr Arglwydd, a hwynt a ddychwelant o dir y
gelyn:
17 [o] Ac y mae gobaith am dy ddibendod ti medd yr
Arglwydd: a'th blant a ddychwelant iw brô eu hun.
18 [p] Clywais Ephraim yn cwynfan [fel hyn,] Cosp-
aist fi, ac mi a gospwyd fel llo heb ei ddofi: dychwel
di fi, ac myfi a ddychwelir, o blegit ti ydwyt yr Ar-
glwydd fy Nuw.
19 [q] Yn ddiau wedi i mi ddychwelyd yr edifarheais,
ac wedi i mi wybod y tarewais [fy] morddwyd: myfi
a gywilyddiwyd, ac a wradwyddwyd hefyd am i mi
ddwyn gwarth fy ieuengctid.
20 [r] Onid mab hôff i mi yw Ephraim? onid plentyn
diddanwch? canys er pan leferais i yn ei erbyn ef gan
gofio y cofiais ef etto, am hynny fy mherfedd a ruas-
ant am dano ef: gan drugarhau y trugarhaf wrtho ef
medd yr Arglwydd.
21 [s] Cyfot ti it arwyddion, gosot i ti garneddau,
gosot dy galon ar y brifford yr hon a rodiaist: dych-
wel morwyn Israel, dychwel i'th ddinasoedd hynn.
22 [t] Pa hyd yr ymgyrwydri di O ferch wrthnysig:
o blegit yr Arglwydd a greawdd beth newydd yn y
tîr, benyw a amgylchyna wr.
23 [u] Fel hyn y dywet Arglwydd y lluoedd Duw
Israel, etto hwynt a ddywedant y gair hwn yng-wlad
Iuda, ac yn ei dinasoedd pan ddychwelwyf eu caeth-
iwed hwynt: yr Arglwydd a'th fendithio di O annedd
cyfiawnder, mynydd sancteiddrwydd.
24 [v] Yna yr ardd-wyr a'r bugeiliaid a breswyliant
ynddi hi Iuda, ai holl ddinasoedd ar unwaith.
25 O herwydd yr enaid deffygiedic a ddigonais, a
phob enaid trist a lenwais.
26 [w] Am hynny y deffroais i, ac yr edrychais, a
melys oedd fy hûn gennif.
27 [x] Wele y dyddiau yn dyfod medd yr Arglwydd i
mi hau tŷ Israel, a thŷ Iuda â hâd dyn, ac â hâd
anifail.
28 Ac megis y gwiliais arnynt i ddiwreiddio, ac i
dynnu i lawr, ac i ddinistrio, ac i ddifetha, ac [iw]
drygu [hwynt:] felly y gwiliaf arnynt hwy, i adailadu,
ac iw plannu medd yr Arglwydd.
29 [y] Yn y dyddiau hynny ni ddywedant mwyach, Y
tadau a fwytasant rawn-win surion: ac ar ddannedd
y plant y mae dingcod.
30 [z] Onid pob un a fydd farw am ei anwiredd ei hun,
pob dyn a'r a fwytu rawn-win surion, ar ei ddannedd
ef y bydd dingcod.
31 [a] Wele y dyddiau yn dyfod medd yr Arglwydd i
mi wneuthur cyfammod newydd â thŷ Israel, ac â thŷ
Iuda.
32 [b] Nid fel y cyfammod yr hwn a wneuthum i ai
tadau hwynt ar y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt
iw dwyn allan o dir yr Aipht, yr hwn gyfammod mau
fi a ddarfu iddynt hwy ei ddiddymmu, er fy mod i yn
briod iddynt medd yr Arglwydd.
33 [c] Ond dymma y cyfammod yr hwn a wnaf â thŷ
Israel ar ol y dyddiau hynn medd yr Arglwydd:
myfi a roddaf fyng-hyfraith yn eu mysc hwynt, ac mi
ai scrifennaf hi ar eu calonnau hwynt, ac mi a fyddaf
iddynt yn Dduw, a hwyntau a fyddant yn bobl i mi.
34 [d] Ac ni ddyscant mwyach bob un ei gymydog, a
phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnebyddwch yr
Arglwydd, o herwydd hwynt oll a'm hadnabyddant
mawr a bychan medd yr Arglwydd, O blegit mi fedd-
euaf eu hanwiredd, ai pechod ni chofiaf mwyach.
35 [e] Fel hyn y dywed yr Arglwydd yr hwn a roddodd
yr haul yn oleuni dydd, defodau y lloer, a'r sêr yn oleu-
ni nôs, yr hwn sydd yn rhwygo yr môr fel y terfysco ei
donnau: Arglwydd y lluoedd [yw] ei enw.
36 [f] Os cilia y defodau hynn o'm gŵydd i medd yr
Arglwydd, yna hâd Israel a baid a bod yn genhedlaeth
ger fy mron i yn dragywydd.
37 [g] Fel hynn y dywed yr Arglwydd, Pe mesurid y
nefoedd oddi uchod, a chwilio sylfeini y ddaiar hyd
isod, yna minne a ddiystyrwn holl hâd Israel, am yr
hynn oll a wnaethant hwy medd yr Arglwydd
38 [h] Wele y dyddiau yn dyfod medd yr Arglwydd
pan adailedir y ddinas i'r Arglwydd o dŵr Hananeel,
hyd borth y gongl.
39 A llinin mesur aiff allan etto oi flaen ef, hyd frynn
Gareb: ac a amgylcha tua Goath.
40 [i] A holl ddyffryn y celaneddau, a'r holl feusydd hyd
afon Cedron, [ac] hyd gongl porth y meirch tua 'r dwy-
rain [a fydd] sanctaidd i'r Arglwydd, n'is diwreiddir,
ac n'is dinistrir mwyach byth.

## PEN. XXXII.

*Carcharu Ieremi am y cas-wir. 7 Yntef yn dangos y dych-
wele y bobl iw gwlad trachefn. 38 Yr Arglwydd yn
Dduw iw bobl. 40 Cyfammod yr Arglwydd.*

Y GAIR [j] yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi
wrth yr Arglwydd yn y ddecfed flwyddyn i
Sedecia frenin Iuda: honno [oedd] y ddeu-nawfed
flwyddyn i Nabuchodonosor.

PEN. XXXI. Adn. 15.] RAMA. 1 Sam. viii. 4. Yn llwyth Ben-
iamin, yr hwn oedd fab Rachel. Nid oedd iddi hi nemawr o BLANT;
etto, digon o HIL i beri rhai wylo! yn Rama, yn enwedig, nid yno 'n
unig! Yr oedd ei bedd yn agos, a'r ardal ar ei henw hi.

kEsa.26, 11 2 k A'r pryd hynny yr oedd llu brenin Babilon yn
Mat.5,12 gwarche ar Ierusalem, ac Ieremi y prophwyd ydoedd
yn garcharor yng-hyntedd y carchar yr hwn [oedd]
yn nhŷ brenin Iuda.
lEx. 5, 4 3 l Lle y carcharase Sedecia brenin Iuda ef gan ddy-
wedyd, Pa ham y prophwydaist ti gan ddywedyd, Fel
hynn y dywedodd yr Arglwydd, Wele mi a roddaf
y ddinas hon i law brenin Babilon, ac efe ai hennill hi.
mIob 34, 19 4 m Ac ni ddiangc Sedecia brenin Iuda o law y Cald-
Ezec.3,7 8 eaid, canys diau y rhoddir ef i law brenin Babilon, ac
2Bren 25 6 efe a ymddiddan ag ef wyneb yn wyneb, ac a edrych
ŵydd yng-ŵydd.
Zec. 1, 6 5 n Ac efe ai harwain ef [sef] Sedecia i Babilon, ac
nDiar.21 30 yno y bydd efe hyd oni ymwelwyfi ag ef, medd yr
Arglwydd: er i chwi ymladd a'r Caldeaid ni ffynnwch.
6 Ac Ieremi a lefarodd, Gair yr Arglwydd a ddaeth
attafi, gan ddywedyd:
o Num. 35, 2 7 o Wele Hanameel fab Salum dy ewythr frawd dy
dâd yn dyfod attat gan ddywedyd, Pryn i ti fy maes
Lef. 25, 24 yr hwn [sydd] yn Anathoth, o blegit i ti [y mae] cyf-
Ruth. 4, 4 iawnder o garennydd iw brynu.
pLef. 25, 32 8 p Felly Hanameel mab fy ewythr frawd fy nhad a
a ddaeth attaf i gyntedd y carchardŷ yn ol gair yr
Act. 16,7 Arglwydd, ac a ddywedodd wrthif: Pryn attolwg y
maes yr hwn [sydd] yn Anathoth, yr hon [sydd] yn
nhir Beniamin, canys i ti[y mae]cyfiawnder o etifedd-
iaeth, ac i ti y perthyn ei ollwng, pryn [ef] i ti: yna
y gwybum mai gair yr Arglwydd [oedd] hwn.
rGen.23, 16 9 r Ac mi a brynais y maes yr hwn oedd yn Anathoth
Zec. 11, 12 gan Hanameel fab fy ewythr frawd fy nhâd, ac mi a
bwysais iddo ef saith sicl o arian, a dêc [darn] o arian.
sPhil.4,8 10 s Ac mi a scrifennais [hynn] mewn llyfr, ac ai sel-
2 Cor. 8, 21 iais: cymmerais hefyd dystion, a phwysais yr arian
mewn cloriannau.
tCol. 4.5 11 t Yna mi a gymmerais lyfr y prynniad wedi ei selio
Dan 6,4, 5 [wrth] gyfraith a defod, ac yn agored.
12 Ac mi a roddais lyfr y prynedigaeth at Baruc fab
Neriah, fab Maasiah yng-wydd Hanameel [mab] fy
ewythr, ac yng-wydd y tystion y rhai a scrifennasid
yn llyfr y prynedigaeth, yng wydd yr holl Iuddewon
y rhai oeddynt yn eistedd yng-hyntedd y carchar-dŷ.
13 A mi a orchymynnais i Baruc yn eu gwydd hwynt
gan ddywedyd:
14 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd Duw
Israel, Cymmer y llyfrau hynn [sef] y llyfr hwn o
brynedigaeth, yr hwn sydd seliedic, a'r llyfr agored
hwn, a dot hwynt mewn llestr pridd fel yr arhoant
ddyddiau lawer.
15 O herwydd fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd
Duw Israel: Hwynt a brynant etto dai a meusydd, a
Ezec 36 gwinllanoedd yn y wlad hon.
[D]an.9,12 16 u Ac wedi i mi roddi llyfr y prynedigaeth at Baruc
[S]am. 7, fab Neraiah, myfi a weddiais ar yr Arglwydd, gan
[I]ob42,2 ddywedyd,
[L]uc 1,37 17 v Arglwydd Dduw wele ti a wnaethost y nefoedd
[G]en. 18,4 a'r ddaiar, â'th fawr allu, ac â'th fraich estynnedic, nid
Ex. 34, oes dim cuddiedic rhagot ti.
[Sa]l. 145,3 18 w[Yr hwn] wyt yn gwneuthur trugaredd i filoedd,
[Dia]r. 1, 13 ac yn talu anwireddau y tadau i fonwes eu meibion
[E]sa.28, ar eu hol hwynt: y Duw mawr cadarn, Arglwydd y
[M]at. 19, lluoedd [yw] ei enw ef.
[L]uc 20,1, 19 x Mawr o gynghor, a rhagorol o weithred, canys
[Sa]l.62,12 [y mae] dy lygaid yn agored ar holl ffyrdd meibion
[Di]al.9,16 dynion, i roddi i bob un yn ol ei lwybr, ac yn ol
[Es]a. 63, ffrwyth ei weithredoedd ei hun.
[Sa]l.83,17 20 y Yr hwn a osodaist arwyddion, a rhyfeddodau
yng-wlad yr Aipht hyd y dydd hwn, ac ar Israel, ac
ar ddynion eraill: ac a wnaethost i ti henw megis [y
gwelir] heddyw,
21 z Ac a ddygaist dy bobl Israel allan o dîr yr zEx.6,6
Aipht, mewn arwyddion, a rhyfeddodau, ac mewn Sal. 136, 10, 11
llaw gref, a braich estynnedic, ac ag ofn mawr. Deut. 4, 34
22 a Ac a roddaist iddynt y wlad ymma, yr hon a aEx.3,8
dyngaist ti wrth eu tadau hwynt y rhoddit ti iddynt Deut 6,1
[sef] gwlad yn llifeirio o laeth a mêl.
23 b A hwynt a ddaethant i mewn, ac ai hetifedd- bNeh. 9, 26
asant hi, ond ni wrandawsant ar dy lais, ac ni rodias- Dan 9,10
ant yn dy gyfraith, ni wnaethant yr hynn oll ar a
orchymynnaist iddynt: am hynny y peraist i'r holl
niwed hynn ddigwyddo iddynt.
24 c Wele y peiriannau rhyfel a ddaethant i'r ddinas cSal.127, 2
iw gorescyn hi, a'r ddinas a roddir i law y Caldeaid y Diar. 21, 30
rhai ydynt yn ymladd yn ei herbyn â min y cleddyf,
â newyn, ac â haint: a'r hynn a ddywedaist ti a gwpl- Zec. 1, 6
hauwyd, ac wele di yn [ei] weled.
25 d Ac ti a ddywedaist wrthyf, O Arglwydd Dduw, dMat.15, 24
Pryn i ti y maes ag arian, a chymer dystion: er bod y Sal 77,10
ddinas wedi ei rhoddi i law y Caldeaid. Esa. 55,8
26 Yna y daeth gair yr Arglwydd at Ieremi gan 2Cor.5,
ddywedyd, 2Bren. 5, 7
27 e Wele myfi [ydwyf] Arglwydd Dduw pob cnawd, eRhuf.3, 20
a guddir dim oddi wrthifi? Num. 16, 22
28 f Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele Gen. 18,4
fi yn rhoddi y ddinas hon yn llaw y Caldeaid, ac yn Sal 115,3
llaw Nabuchodonosor brenin Babilon, ac efe ai hennill fEsa.5,5
hi. Ioan 19, 11
29 A'r Caldeaid a ddeuant ac a ryfelant yn erbyn y
ddinas hon, ac a ffaglant y ddinas hon â thân, ac ai
lloscant hi a'r tai y rhai yr arogl-darthwyd ar eu pennau
i Baal, ac y tywalltwyd diod offrwm i dduwiau dieithr
i'm digllonifi.
30 O blegit meibion Israel, a meibion Iuda oeddynt
yn gwneuthur yn ddiau yr hyn oedd ddrwg yn fyng-
olwg i oi mebyd: o herwydd meibion Israel oeddynt
yn ddiau yn fy niglloni fi â gweithredoedd eu dwylo.
31 g Canys i'm digofaint, ac i'm llid y bu y ddinas gEsa.65, 5
hon er y dydd yr adeiliadasant hi, hyd y dydd hwn, i
beri ei symmyd oddi ger fy mron.
32 h Am holl ddrygioni meibion Israel, a meibion hDan. 9, 8
Iuda y rhai a wnaethant i'm digllonifi [sef]hwyntwy, Esa 1,4,6
eu brenhinoedd, eu tywysogion, eu hoffeiriaid, ai Mat.7,15
prophwydi, a gwŷr Iuda, a phresswyl-wŷr Ierusalem: 14
33 i [Er i mi eu] dysgu, gan foreu-godi i roddi iDiar. 1, 24
addysg [iddynt,] etto ni wrandawsant i gymmeryd
athrawiaeth, eithr troesant attafi eu gwarrau ac nid eu
hwynebau.
34 j Gosodasant hefyd eu heulynnod yn y tŷ (yr j2 Bren. 21, 4
hwn y gelwir fy enw arno) iw halogi ef. Ezec.8,5
35 A hwynt a adailadasant uchelfeudd Baal y rhai 6
ydynt yn nyffryn meibion Hinnom i beri iw meibion,
ai merched fyned trwy [yr tân] i Moloch, yr hynn ni
orchymynnaswn i iddynt, ac ni feddyliase fyng-halon
am wneuthur y ffieidd-dra hynn i beri i Iuda bechu.
36 k Ac yn awr am hynny, fel hynn y dywed yr Ar- k Esa. 8,
glwydd Duw Israel am y ddinas hon, yr hon medd- 16 a 66, 2
wch chwi a roddir i law brenin Babilon trwy y cledd-
yf, a thrwy newyn, a thrwy haint,
37 l Wele myfi ai cynhullaf hwynt, o'r holl diroedd lRhuf.11
(y rhai yn fy nig a'm llid, a'm sorriant mawr y bwriais 25 Ezec. 37,
hwynt iddynt) i'r lle hwn, ac mi a wnaf iddynt bres- 21
swylio yn ddiogel. Zec. 10, 12
38 A hwynt a fyddant yn bobl i mi, a minne a fyddaf

yn Dduw iddynt hwythau.
mAct. 2, 39 [m] Ac mi a roddaf iddynt un galon, ac un ffordd
1 Ezec.11, i'm hofni fi byth, er lles iddynt, ac iw meibion ar eu
19 Act. 4,32 hol hwynt,
Ioan 14,6 40 [n] Ac mi a wnaf â hwynt gyfammod tragywyddol
Eph 4,3, nid amgen, nad ymadawafi oddi wrthynt, eithr gan
6 nEzec 39 wneuthur lles iddynt, mi a osodaf fy ofn yn eu calon-
29 Rhuf. 8, nau fel na chiliant oddi wrthif.
30 41 [o] Ie mi a lawenychaf ynddynt gan wneuthur llês
Ioan8,30 iddynt, ac mi ai plannaf hwynt yn y tir hwn yn sicer
Mat. 16, 18 a'm holl galon, ac a'm holl enaid.
oSeph.3, 42 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Megis y
17 dygais i ar y bobl hyn yr holl fawr ddrwg hyn: felly y
dygafi arnynt yr holl ddaioni, yr hwn a addewais i
iddynt.
43 A'r meusydd a feddiennir yn y wlad ymma [am]
yr hon yr ydych chwi yn dywedyd: Anghyfannedd
[yw] hi heb ddŷn, nac anifail, yn llaw y Caldeaid y
rhoddwyd hi.
44 Meusydd a brynir am arian, ac a scrifennir mewn
llyfr, ac a selir, a chymmerir tystion yn nhir Beniamin,
ac o amgylch Ierusalem, ac yn ninasoedd Iuda, ac yn
ninasoedd y mynydd, ac yn ninasoedd y gwastad, ac
yn ninasoedd y debau: canys mi a ddychwelaf eu
caethiwed hwynt medd yr Arglwydd.

PEN. XXXIII.

*Duw yn peri i Ieremi weddio am rydd-did i'r bobl, ac yn addo eu rhyddhau.* 8. *Bod Duw yn maddeu pechodau er ei ogoniant ei hun.* 15. *Am anodigaeth Crist.* 20. *Duw yn siccrhau y cyfammod newydd.*

GAIR yr Arglwydd hefyd a ddaeth at Ieremi yr
ail waith, ac efe etto yn garcharor yn y charchar-
dŷ gan ddywedyd,
pHeb.11 2 [p] Fel hyn y dywed yr Arglwydd yr hwn ai gwnaeth
10 Mat. 16, hi, yr Arglwydd yr hwn ai lluniodd hi, ac ai siccr-
18 haodd: yr Arglwydd [yw] ei enw ef.
rEzra36, 3 [r] Galw arnaf, ac mi a'th attebaf, ac a ddangosaf i
37 Dan 9,24 ti [bethau] mawrion, a chedyrn y rhai nid adwaenost.
Esa 48,6 4 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Duw Israel
Luc11,13 am dai y ddinas hon, ac am dai brenhinoedd Iuda y
rhai a ddinistriwyd a pheiriannau rhyfel, ac â chleddyf.
sEsa. 31, 5 [s] Hwynt a ddaethant i ryfela a'r Caldeaid, ac i ym-
1 a 5, 5 a 10, 5 lenwi â chelanedd dynion y rhai a leddais yn fy llid
a'm digofaint, pan guddiais i fy wyneb oddi wrth y
ddinas hon, am ei holl ddrygioni hi.
tHab. 3, 6 [t] Wele myfi a roddaf iddi hi iechyd a meddiginiaeth,
2 Esa. 56,8 ac mi ai meddiginiaethaf hwynt, ac a ddadcuddiaf
Sal. 85,8 iddynt amlder o heddwch a gwirionedd.
Esa. 39,8 Ioan1,12 7 [u] Ac mi a ddychwelaf gaethiwed Iuda, a chaethiwed
uHos.11 Israel, ac mi ai hadailadaf hwynt megis yn y dech-
1 Esa. 11, reuad.
12 8 [v] Ac mi ai puraf hwynt oi holl anwiredd a'r a bech-
Ioel 3,18 asant i'm herbyn, ac mi a faddeuaf iddynt eu holl
Hos. 2,18 vHeb. 9, bechodau *drwy* y rhai y pechasant i'm herbyn, a *thrwy*
11 Ezec 36, y rhai y gwrthryfelasant yn fy erbyn.
25 9 [w] A [hyn] fydd i mi yn enw, yn llawenydd, yn
Zec. 13,1 Mica7.18 glod, ac yn ogoniant o flaen holl genhedloedd y
wEsa.62 ddaiar, y rhai a glywant yr holl ddaioni yr hwn yr
7 Ester 8, ydwyfi yn ei wneuthur iddynt: a hwyntau a ofnant,
17 ac a grynant am yr holl ddaioni, a'r holl dangneddyf
Esa60,3 y rhai yr ydwyfi yn eu gwneuthur i'r ddinas hon.
5 Act.5 11 10 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Clywir etto
yn y lle hwn ([am] yr hwn y dywedwch Anialwch yw
efe heb ddŷn, ac heb anifail, yn ninasoedd Iuda, ac
yn heolydd Ierusalem, y rhai a wnaed yn anghyfan-
nedd, ac heb breswylwr, ac heb anifail)

11 [x] Llef gorfoledd, a llef llawenydd, llef y priod-
fab a llef y briodferch, llef rhai yn dywedyd, Molwch x Zec. 8, 15
chwi Arglwydd y lluoedd o herwydd daionus yw yr Hos.2 15
Arglwydd, o blegit ei drugaredd ef a [beru] yn dra- Dat. 15 3
gywydd, [a llef] rhai yn offrymmu moliant yn nhŷ yr
Arglwydd: canys mi a ddychwelaf gaethiwed y wlad
megis yn y dechreuad medd yr Arglwydd.
12 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Bydd etto
yn y lle ymma yr hwn sydd anghyfaneddol heb ddŷn,
ac heb anifail, ac yn ei holl ddinasoedd drigfa
bugeiliaid yn gorweddfâu y praidd.
13 Yn ninasoedd y mynydd, yn ninasoedd y gwastad,
ac yn ninasoedd y deau, ac yng-wlad Beniamin, ac
yn amgylchoedd Ierusalem, ac yn ninasoedd Iuda yr
aiff defaid etto tann law y rhifedudd medd yr Ar-
lwydd.
14 [y] Wele y dyddiau yn dyfod medd yr Arglwydd y2Cor. 1
fel y cyflawnwyf y peth daionus yr hwn a addewais i 20
dŷ Israel, ac i dŷ Iuda. Tit 1 2
15 [z] Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser hwnnw y zEsa11 1
parafi i flaguryn cyfiawnder flaguro i Ddafydd, ac efe Sal 72 2
a wna farn, a chyfiawnder yn y tir. Esa 41 2
16 [a] Yn y dyddiau hynny Iuda a waredir, ac Ieru- aAct 2,39
salem a bresswylia yn ddiogel, a'r hwn ai geilw hi [yw]
yr Arglwydd ein cyfiawnder.
17 [b] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ni thorrir ym- bLuc1 32
maith [fel na byddo] i Ddafydd ŵr yn eistedd ar fren- 1Bren 25
hin-fainge tŷ Israel,
18 [c] Ac ni phalla fod gan y Lefiadaidd offeiriaid ŵr cRhuf12
ger fy mron i, yn offrymmu poeth offrwm, ac yn 1 Dat 1 6
offrymmu bwyd offrwm, ac yn gwneuthur aberth yn
dragywydd.
19 A gair yr Arglwydd a ddaeth at Ieremi, gan
ddywedyd,
20 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Os diddymmwch
chwi fyng-hyfammod a'r dydd, a'm cyfammod a'r nôs,
fel na byddo [na] dydd na nôs yn eu hamser,
21 [d] Yna y diddymmir fyng-hyfammod â Dafydd dEsa 9 6
fyng-was, fel na byddo iddo ef fab yn teyrnasu ar ei Dan 7 14
deyrn-gader ef, ac a'r Lefiadaidd offeiriaid fyng- Dat 1 6
weinidogion.
22 [e] Megis na ellir cyfrif llû y nefoedd, ac na ellir e Gen 13
mesur tywod y môr: felly myfi a amlhaf hâd Dafydd 15 Esa 35 8
fyng-was, a'r Lefiaid y rhai ydynt yn gweini i mi. 10 Dat 7 9
23 Gair yr Arglwydd a ddaeth at Ieremi gan ddy- Dan 7 14
wedyd,
24 [f] Oni weli di pa beth y mae y bobl hyn yn ei lef- fNeh 4 4
aru gan ddywedyd, Dau deulu *yw* y rhai a ddewisodd Sal 71 11
yr Arglwydd, ac efe ai gwrthododd hwynt: felly y
dirmygasant fy mhobl fel nad ydynt mwyach yn gen-
hedlaeth yn eu golwg hwynt.
25 [g] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Os fyng-hyfamod g Sal 104
a'r dydd, ac a'r nôs ni [saif, ac oni] osodais i ddefod- 19
au y nefoedd, a'r ddaiar,
26 [h] Yna hâd Iacob a Dafydd fyng-wâs a wrthodafi hEzra 2,
fel na chymmerwyf oi hâd ef lywodraeth-wŷr ar had 1 Neh 2 4
Abraham, Isaac, ac Iacob: canys mi a ddychwelaf eu Gal 3 16
caethiwed hwynt, ac a drugarhâf wrthynt. Hos 1 7

PEN. XXXIV.

*Dialedd ar Sedecia ai farwolaeth.* 8 *Y bobl yn torri eu cyfammod, a Duw yn eu cospi am hynny.*

Y GAIR [i] yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi wrth yr i 2 Bren
Arglwydd (pan oedd Nabuchodonosor brenin 25 1
Babilon ai holl lu, a holl deyrnasoedd y ddaiar [y rhai
oeddynt] tann lywodraeth ei law ef: a'r holl bobloedd
yn rhyfela yn erbyn Ierusalem, ac yn erbyn ei holl

ddinasoedd hi) gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Dos a
llefara wrth Sedecia frenin Iuda, a dywet ti wrtho, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd, Wele fi yn rhoddi y ddi-
nas hon i law brenin Babilon, ac efe ai llysc hi â thân.
j Job 34 19 3 j Ac ni ddiengi dithe oi law ef, canys diau i'th
1 Sam 12 15 ddelir, ac i'th roddir iw law ef, dy lygaid ti a gânt
weled llygaid brenin Babilon, ai enau ef a ymddiddan
a'th enau di, a thithe a ei i Babilon.
k Hab 3 2 4 k Er hynny O Sedecia brenin Iuda, gwrando di air
yr Arglwydd: fel hyn y dywed yr Arglwydd am
danat ti, Ni byddi di farw drwy gleddyf,
5 l Mewn heddwch y byddi di farw, a hwynt a losc-
l 2 Cron 16 14 a 21 19 ant i ti fel y llosewyd i'th dadau y brenhinoedd cynt-
af y rhai oeddynt o'th flaen di, a hwynt a alarant am
danat ti [gan ddywedyd,] Oh arglwydd! canys myfi a
ddywedais y gair medd yr Arglwydd.
m Ezec 8 7 6 m Yna Ieremi y prophwyd a lefarodd wrth Sedecia
Mat 14,4 frenin Iuda yr holl eiriau hyn yn Ierusalem,
n 2 Sam 12 7 7 n Pan oedd brenin Babilon yn rhyfela yn erbyn
1 Bren 21 19 Ierusalem, ac yn erbyn holl ddinasoedd Iuda y rhai a
n Ios 10 31 weddillasid, sef Lachis, ac Azecah: y rhai hynny a
2 Bren 14 19 adawsid o ddinasoedd Iuda o herwydd [eu bod] yn
ddinasoedd caeroc.
o Sal 78 34 8 o Y gair yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi wrth yr
Ex 9 25 a 21 2 Arglwydd, wedi i'r brenin Sedecia wneuthur cyfam-
mod a'r holl bobl y rhai [oeddynt] yn Ierusalem am
gyhoeddi iddynt rydd-did,
9 I ollwng o bob un ei wasanaeth-wr, a phob un ei
wasanaeth-ferch [y rhai fyddent] Hebræad neu Hebr-
eæs yn rhyddion, ac na cheisient wasanaeth ganddynt,
[sef] pob un gan ei frawd o Iddew.
10 Pan glybu yr holl bennaethiaid, a'r holl bobl y
rhai a ddaethent i'r cyfammod am ollwng o bob un ei
wasanaeth-wr, a phob un ei wasanaeth-ferch yn
rhyddion fel na cheisient wasanaeth ganddynt mwy-
ach: yna hwynt a wrandawsant, ac ai gollyngasant
ymmaith.
p Ex 9 34 11 p Ond wedi hynny yr edifarhaodd arnynt, a
Pen 37 5 hwynt a ddugasant yn eu hol eu gweision, ai mor-
Neh 5 5 wynion y rhai a ollyngasent yn rhyddion, ac ai caeth-
2 Cron 28 10 iwasant hwynt yn weision, ac yn forwynion.
2 Pedr 2 22 12 Am hynny y daeth gair yr Arglwydd at Ieremi
Sal 78 36 oddi wrth yr Arglwydd, gan ddywedyd:
q Ex 20 1 13 q Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Mi a
Deut 15 15 wneuthum gyfammod a'ch tadau, ar y ddydd y dygais
hwynt allan o dir yr Aipht o dŷ y caethiwed gan
ddywedyd:
r Ex 21 2 14 r Ym mhen saith mlynedd y gollyngwch bob un
Mat 18 25 ei frawd o Hebræad yr hwn a werthwyd i ti, ac a'th
wasanaethodd chwe blynedd: gollwng ef yn rhydd
oddi wrthit, ond ni wrandawodd eich tadau arnaf, ac
ni ogwyddasant eu clustiau.
s Sal 78 34 15 s A chwithau a gymmerasech edifeirwch heddyw,
Mat 15 8 ac a wnaethech yr hyn oedd iniawn yn fyng-olwg,
am gyhoeddi rhydd-did pob un yw gyfaill, a chwi a
wnaethoch gyfammod yn fyng ŵydd i, yn y tŷ yr hwn
Lef 19 12 y gelwir fy enw arno.
Ioh 8 7 16 t Ond chwi a ddychwelasoch, ac a halogasoch fy
Ex 20 7 enw, canys chwi a ddugasoch yn eu hol pob un ei was-
Iago 2 anaeth-wr, a phob un ei wasanaeth ferch y rhai a oll-
Mat 7 2 yngasech yn rhoddion wrth eu hewyllys eu hun:
Barn 1 7 caethiwasoch hwynt hefyd i fod yn weision, ac yn
Gal 6 7 forwynion i chwi.
1 Thes 4 6 Eph 6 4 17 u Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ni
Deut 28 wrandawsoch arnafi, i gyhoeddi rhydd-did pob un iw
frawd, a phob un iw gyfaill: wele fi yn cyhoeddi i'ch
erbyn medd yr Arglwydd rydd-did i'r cleddyf, i haint,
ac i newyn, ac mi a'ch rhoddaf chwi mewn trallod trwy
holl deyrnasoedd y ddaiar.
18 w Ac mi a roddaf y dynion y rhai a droseddasant w Gen 15
fyng-hyfammod, ac ni chwplausant eiriau y cyfammod 17 18 Neh 10 29
yr hwn a wnaethont ger fy mron wedi iddynt fyned Mat 24 51
rhwng rhannau y llô yr hwn a holltasent yn ddau, Sal 50 5
19 x Tywysogion Iuda a thywysogion Ierusalem, yr x Mal 2 8
stafellyddion a'r offeiriaid, a holl bobl y wlad y rhai a 1 Pedr 5 3
aethant rhwng rhannau y llô,
20 Ie mi ai rhoddaf hwynt yn llaw eu gelynnion, ac
yn llaw y rhai sydd yn ceisio eu henioes, ai celain fydd
yn fwyd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaiar.
21 Ac mi a roddaf Sedecia frenin Iuda, ai dywysog-
ion i law ei elynion, ac i law y rhai sydd yn ceisio eu
henioes: ac yn llaw llu brenin Babilon y rhai a aeth-
ant i fynu oddi wrthych.
22 y Wele fi yn gorchymyn medd yr Arglwydd y 2 Sam 16 10
iddynt hwy droi yn ôl at y ddinas hon, fel y rhyfelant 2 Bren 24 2
yn ei herbyn hi, ac y goresgynant hi, ac y llosgant hi
â thân: ac mi a roddaf ddinasoedd Iuda yn anghyfan- 2 Cron 36 17
nedd heb breswylydd.

## PEN. XXXV.

*Ufudd-dod yr Rechabiaid: ac anufudd-dod yr Iddewon.*

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi wrth yr
Arglwydd yn nyddiau Iehoacim mab Iosia
brenin Iuda gan ddywedyd:
2 z Dos di i dŷ yr Rechabiaid, a llefara wrthynt, a z Barn 1 16 a 4 11
phâr di iddynt ddyfod i dŷ yr Arglwydd i un o'r 1 Cron 2 55
stafelloedd, a dod iddynt wîn i'w yfed. 1 Bren 6 5
3 a Yna myfi a gymmerais Iazaniah fab Ieremi fab 6 2 Cron 3 11
Habaziniah ai frodyr, ai holl feibion, a holl deulu y
Rechabiaid. a Sal 112 5
4 b Ac mi ai dugym hwynt i dŷ yr Arglwydd i stafell b 1 Cron 24 5
meibion Hanaan fab Igdalia gŵr i Dduw: yr hon oedd
wrth stafell y tywysogion, yr hon sydd goruwch stafell 1 Tim 6 11
Maasiah mab Salum ceidwad y tryssor. Num 3 32
5 c Ac mi a roddais ger bron meibion tŷ y Rechabiaid 1 Cor 12 23
phiolau yn llawn o wîn, a chwpanau: ac mi a ddywed- c 2 Cor 2 9
ais wrthynt, Yfwch wîn. a 8 24
6 d Ond hwy a ddywedasant, Nid yfwn i wîn, o d 2 Bren 10 15
herwydd Ionadab mab Rechab ein tad ni a roddodd i Lef 4 2
ni orchymyn gan ddywedyd, Nac yfwch wîn, chwy Mat 11 18
chwi na'ch plant yn dragywydd. 1 Cor 8 13
7 e Nac adailedwch dŷ, ac na hauwch hâd, ac na e 1 Cor 7 29
phlennwch win-llan, ac na fydded [dim] gennwch chwi:
O blegit mewn pebyll y presswyliwch eich holl ddydd- 2 Bren 5 26
iau, fel y byddoch chwi fyw ddyddiau lawer ar wyneb Ex 26 6
y ddaiar lle yr ydych chwi yn ddieithriaid. Eph 6 2
8 f Ac nyni a wrandawsom ar lais Ionadab mab Rechab f Mal 1 6
ein tâd am bob peth a orchymynnodd efe i ni: [sef]
nad yfem ni wîn ein holl ddyddiau, nyni, ein gwragedd,
ein meibion, a'n merched.
9 g Ac nad adailadem ni dai iw presswylio, ac na g 1 Tim 6 6
bydde i ni na gwin-llan, na maes, na hâd.
10 Eithr trigo o honom ni mewn pebyll: felly nyni
a wrandawsom, ac a wnaethom yn ôl yr hynn oll a
orchymynnodd Ionadab ein tâd i ni, h Deut 7 6
11 h A phan ddaeth Nabuchodonosor brenin Babilon i
fynu i'r wlad, nyni a ddywedasom, Deuwch, ac awn i
Ierusalem rhac llu y Caldeaid, a rhac llu yr Assyriaid,
ac yn Ierusalem yr ydym ni yn presswylio.
12 Yna daeth gair yr Arglwydd at Ieremi gan ddy-
wedyd,
13 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel,

Dôs di, a dywet wrth wŷr Iuda, ac wrth breswyl-wyr Ierusalem, Oni chymmerwch chwi athrawiaeth i wrando ar fyng-eiriau medd yr Arglwydd?

i Deut 20 6 2 Cron 36 15

14 i Geiriau Ionadab mab Rechab y rhai a orchymynnodd efe iw feibion a siccrhauwyd [sef] nad yfent wîn, canys nid yfasant hwy [wîn] hyd y dydd hwn, o blegit hwynt a wrandawsant ar orchymyn eu tâd: A minne a ddywedais wrthych chwi, gan godi yn foreu a llefaru, ond ni wrandawsoch arnafi.

j Sal 57 27 Esa 1 19

15 j Myfi a anfonais hefyd attoch chwi fy holl weision [sef] y prophwydi gan godi yn foreu ac anfon i ddywedyd, Dychwelwch yn awr bawb oddi wrth ei ffordd ddrwg, a gwellhewch eich gweithredoedd, ac nac ewch yn ôl duwiau dieithr iw gwasanaethu hwynt, fel y trigoch yn y wlad yr hon a roddais i chwi: ac i'ch tadau, ond ni ogwyddasoch eich clustiau, ac ni wrandawsoch chwi arnaf.

16 Diau meibion Ionadab mab Rechab a gyflawnasant orchymyn eu tad, yr hwn a orchymynnodd efe iddynt: ond y bobl ymma ni wrandawsant arnafi.

k Diar 1 24 2 Cor 5 20 a 13 3 1 Thes 2 13 Luc 16 10 Eph 2 17 Sal 81 11

17 k Am hynny fel hynn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd Duw Israel, Wele fi yn dwyn ar Iuda, ac ar holl drigolion Ierusalem yr holl ddrwg yr hwn a leferais yn eu herbyn: canys mi a ddywedais wrthynt, ond ni wrandawsant, gelwais arnynt, ond nid attebasant.

28 Ac Ieremi a ddywedodd wrth dylwyth y Rechabiaid, Fel hynn y dywed Arglwyddd y lluoedd Duw Israel: O herwydd i chwi wrando ar orchymyn Ionadab eich tad, a chadw ei holl orchymynnion ef, a gwneuthur yn ôl yr hynn oll a'r a orchymynnodd efe i chwi,

l Deut 10 8

19 l Am hynny fel hynn y dywed Arglwydd y lluoedd Duw Israel: Ni phallha na byddo gŵr i Ionadab fab Rechab yn sefyll ger fy mron yn dragywydd.

## PEN. XXXVI.

*1 Baruc wedi scrifennu o benn Ieremi felldithion Iuda ac Israel. 10. Yn eu darllen oll ger bron y bobl. 14. A cher bron y swyddogion. 20. Gwedi hynny ger bron y brenin. 23. Y brenin yn llosci y llyfr. 20. Gorfod scrifennu un arall. 29. Cosp Iehoacim.*

YN y bedwaredd flwyddyn i Iehoacim fab Iosia frenin Iuda y daeth gair yr Arglwydd at Ieremi gan ddywedyd,

m Act 20 27 Mat 28 20

2 m Cymmer i ti lyfr, ac scrifenna di ynddo yr holl eiriau y rhai a leferais i yn erbyn Israel, ac yn erbyn Iuda, ac yn erbyn yr holl genhedloedd o'r dydd y lleferais i wrthit ti [sef] o ddyddiau Iosiah hyd y dydd hwn.

n Deut 5 29 Ioan 2 24

3 n Onid odid pan glywo tŷ Iuda yr holl ddrwg yr hwn yr ydwyfi yn amcanu ei wneuthur iddynt, hwynt hwy a ddychwelant bob un oi ffordd ddrygionus fel y maddeuwyf eu hanwiredd hwynt ai pechodau.

o Mat 16 24 Est 4 16 Heb 11 27

4 o Yna Ieremi a alwodd am Baruc fab Neriah, a Baruc a scrifennodd o enau Ieremi holl eiriau yr Arglwydd, y rhai a lefarase efe wrtho, mewn llyfr:

p 1 Sam 21 7 Neh 6 10

5 p Ac Ieremi a orchymynodd i Baruc, gan ddywedyd, Carcharor ydwyfi, ni allafi fyned [i dŷ] yr Arglwydd.

Num 19 11 q Lef 23 27

6 q Am hyny dos ti a darllen o'r llyfr (yr hwn a scrifennaist o'm genau) eiriau yr Arglwydd lle y clywo y bobl [yn] nhŷ yr Arglwydd ar y dydd ympryd: ac lle y clywo holl Iuda y rhai a ddelont oi dinasoedd y darlleni di hwynt.

r Iago 4 9 Esa 58 3 5 Iona 4 8 1 Tim 1 8

7 r Fe alle y daw eu gweddi hwynt ger bron yr Arglwydd, ac y dychwelant bob un oi ffordd ddrygionus: canys mawr [yw] fy llîd, a'r digofaint y rhai a draethodd yr Arglwydd yn erbyn y bobl hynn.

8 Felly Baruc mab Neriah a wnaeth yn ol yr hynn oll a orchymynase Ieremi y prophwyd iddo ef, am ddarllen o'r llyfr eiriau yr Arglwydd [yn] nhŷ yr Arglwydd.

s Esa 58 3 4 5 Sal 78 34

9 s Ac yn y bummed flwyddyn i Iehoacim fab Iosia brenin Iuda, ar y nawfed mis y cyhoeddasant ympryd ger bron yr Arglwydd [i'r] holl bobl o Ierusalem, ac i'r holl bobl y rhai oeddynt yn dyfod o ddinasoedd Iuda i Ierusalem.

t 1 Bren 6 56 Ezec 7 6 2 Cron 4 9 2 Bren 25 35

10 t Yna Baruc a ddarllenodd o'r llyfr eiriau Ieremi [yn] nhŷ 'r Arglwydd yn stafell Gemariah mab Saphan yr scrifennydd, yn y cyntedd uchaf i ddrws y porth newydd i dŷ yr Arglwydd lle y clybu yr holl bobl.

11 Pan glybu Micheas mab Gemariah fab Saphan holl eiriau yr Arglwydd o'r llyfr:

u 1 Bren 4 3

12 u Yna efe a aeth i wared i dŷ y brenin i stafell yr scrifennydd, ac wele yr holl dywysogion oeddynt yno yn estedd: [sef] Elisama yr scrifennydd, Dalaiah mab Semei, Elnathan mab Achbor, Gamariah mab Saphan, Sedecia mab Hananias, a'r holl dywysogion.

v Iona 4 6 1 Sam 25 17

13 v A Micheas a fynegodd iddynt yr holl eiriau y rhai a glywse efe pan ddarllenase Baruc o'r llyfr lle y clybu y bobl.

w Marc 10 28 Ezec 3 6

14 w Yna yr holl dywysogion a anfonasant at Baruc, Iehudi fab Nathaniah fab Selemia, fab Cusi gan ddywedyd, Cymmer yn dy law y llyfr yr hwn y darllenaist ti o honaw lle y clybu y bobl, a thyret: felly Baruc mab Neriah a gymmerodd y llyfr yn ei law, ac a ddaeth attynt.

x Diar 28 13 Esa 66 2 Ecs. 19 16

15 x A hwynt a ddywedasant wrtho ef, Eistedd di yn awr, a darllen ef: felly Baruc ai darllenodd lle y clywsant hwy.

2 Bren 22 19 Ezec. 9 14

16 A phan glywsant yr holl eiriau, synnu a wnaethant pob un wrth ei gilydd: a hwynt a ddywedasant wrth Baruc, Gan fynegu y mynegwn ni yr holl eiriau hynn i'r brenin.

y Mat. 23 23 Barn. 14 18

17 y A hwynt a ofynnasant i Baruc gan ddywedyd, Mynega i ni yn awr, pa fodd yr scrifennaist ti yr holl eiriau hynn oi enau ef?

z Mat. 10, 28 Rhuf. 1, 16

18 z Yna Baruc a ddywedodd wrthynt, Efe a draethodd yr holl eiriau hynn wrthifi âi enau: a minne [ai] scrifennais [hwynt] yn y llyfr âg ingc.

a Mat. 2 13 Act 23, 16 Sal 121 3 8

19 a Yna y tywysogion a ddywedasant wrth Baruc, Dos ti ac ymguddia ti ag Ieremi, fel na wypo neb pa le [y byddoch] chwi.

b 2 Cron 20, 10 Dat 6 4

20 b Ac hwy a aethant at y brenin i'r cyntedd, (ond hwy a gadwasant y llyfr yn stafell Elizamah yr scrifenydd) ac a fynegasant yr holl eiriau lle y clybu y brenin.

21 A'r brenin a anfonodd Iehudi i ddwyn y llyfr, ac efe ai dug ef o stafell Elizamah yr scrifennydd, ac Iehudi ai darllenodd lle y clybu y brenin, a lle y clybu yr holl dywysogion, y rhai oeddynt yn sefyll yn ymyl y brenin.

c Barn 3 20

22 c A'r brenin oedd yn eistedd yn y gaiaf-dŷ, ar y nawfed mis, a thân wedi ei gynneu ger ei fron ef.

d 2 Tim 4 3 1 Bren 22 8 Amos 7 12 13

23 d A phan ddarllenodd Iehudi dair dalen, neu bedair, [yna] efe ai torrodd â chyllell scrifennydd, ac ai bwriodd i'r tân, yr hwn [oedd] yn yr aelwyd, nes darfod yr holl lyfr gan y tân yr hwn oedd ar yr aelwyd.

e Esa 36 12 a 37, 1

24 e Ac ni synnodd arnynt, ac ni rwygasant eu dillad: [sef] y brenin, nai holl weision ef y rhai a glywsant yr holl eiriau hynn:

f Eph 5 11

25 f Er i Elnathan, a Dalaiah, a Gamariah ymbil â'r brenin am na losce efe y llyfr: etto ni wrandawodd efe arnynt:

g 1 Bren 19 14

26 g Onid y brenin a orchymynnodd i Ierahmel fab

Hameleeh, Saraiah fab Ezriel, a Selemiah fab Abdiel,
ddala Baruc yr scrifennydd, ac Ieremi y prophwyd:
ond yr Arglwydd ai cuddiodd hwynt.
h Act.5, 29 Diar.21, 30 27 h Yna y daeth gair yr Arglwydd at Ieremi (wedi
i'r brenin losci y llyfr, a'r geiriau y rhai a scrifennase
Baruc o enau Ieremi) gan ddywedyd:
i 2Tim.2, 9 Esa. 55, 10 28 i Dychwel, cymmer i ti lyfr arall, ac scrifenna di
arno yr holl eiriau cyntaf y rhai oeddynt yn y llyfr
cyntaf, yr hwn a loscodd Iehoacim brenin Iuda.
Zec. 1, 5 6 j 2 Bren. 24, 1 29 j A dywet ti wrth Iehoacim frenin Iuda. fel hynn
y dywed yr Arglwydd, Ti a loscaist y llyfr hwn gan
ddywedyd, Pa ham yr scrifennaist ynddo drwy ddy-
wedyd, Diau y daw brenin Babilon ac a anrheithia y
wlad hon: ac efe a wnaiff i ddŷn ac i anifail ddarfod
o honi?
k 2Bren. 24, 8, 12, 17 30 k Am hynny fel hynn y dywed yr Arglwydd am
Iehoacim frenin Iuda: Ni bydd iddo ef a eisteddo ar
frenhin-faingc Dafydd, ai gelain ef a fwrir allan i wrês y
dydd, ac i rew y nôs.
31 Ac mi a ymwelaf ag ef, ac ai hâd, ac ai weision
am eu hanwiredd, ac mi a ddygaf arnynt hwy, ac ar
drigolion Ierusalem, ac ar wŷr Iuda yr holl ddrwg yr
hwn a leferais iw herbyn, am na wrandawsant.
l Ecs. 4, 15 Iudas, Adn. 1, 2 Phil. 4, 3 Rhuf. 16 3, 22 32 l Yna Ieremi a gymmerth lyfr arall, ac ai rhodd-
odd at Baruc fab Neriah yr scrifennydd, ac efe a scri-
fennodd ynddo o enau Ieremi holl eiriau y llyfr yr
hwn a loscase Iehoacim brenin Iuda yn tân: ac yn
hytrach fe a chwanegwyd attynt eiriau lawer fel
hwyntau.

## PEN. XXXVII.

*1 Sedecia yn ymbil ag Ieremi am weddio trosto ef. 13 Dala Ieremi, ei guro ef ai garcharu. 17 A Sedecia yn ei ryddhau ef.*

m 2Bren. 24, 8 A'R m brenin Sedecia, mab Iosia (yr hwn a wnaeth
Nabuchodonosor brenin Babilon yn frenin yng-
wlad Iuda) a deyrnasodd yn lle Cononiah mab Iehoa-
cim.
n Diar 29 12 2Cor. 36, 12 2 n Ond ni wrandawodd efe nai weision, na phobl
y tir ar eiriau yr Arglwydd y rhai a draethodd efe trwy
Ieremi y prophwyd.
o Ecs. 8, 28 1Bren 23 6 Act.8,24 3 o Er hynny y brenin Sedecia a anfonodd Iehucal
fab Selemiah, a Sephaniah fab Maasiah yr offeiriad at
Ieremi y prophwyd i ddywedyd, Gweddia atolwg
drosom ni ar yr Arglwydd ein Duw.
p Esa. 30, 1 2Bren 24 7 4 p Ac Ieremi oedd yn myned mewn rhydd-did ym
mysg y bobl: canys ni roddasent hwy ef [etto] yn y
carchar-dŷ.
Esa. 26, 10 5 Llu Pharao hefyd a ddaethe allan o'r Aipht, a'r
Caldeaid y rhai oeddynt yn gwarche ar Ierusalem a
glywsant oddi wrthynt, ac a aethant i fynu oddi wrth
Ierusalem.
6 Yna gair yr Arglwydd a ddaeth at Ieremi y
prophwyd gan ddywedyd,
q Sal. 33, 10 Diar. 21, 30 7 q Fel hynn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Fel
hynn y dywedwch chwi wrth frenin Iuda yr hwn
a'ch anfonodd chwi attafi i ymofyn â mi: Wele llu
Pharao yr hwn a ddaeth allan yn gynorthwy i chwi,
a ddychwel iw wlad ei hun i'r Aipht.
8 Ond y Caldeaid a ddychwelant, ac a ryfelant yn
erbyn y ddinas hon, ac ai hennillant, ac ai lloscant hi
â thân.
r Gal. 6,3 9 r Fel hynn y dywed yr Arglwydd, Na thwyllwch
eich hunain, gan ddywedyd, Diau yr aiff y Caldeaid
oddi wrthym ni, o blegid nid ânt hwy.
s Esa. 40, 29 10 s Canys pe tarawech chwi holl lu y Caldeaid, y
rhai ydynt yn rhyfela i'ch erbyn, fel [na] weddillid o

hōnynt [onid] gwŷr archolledig, [etto] hwynt a safant
bob un yn ei babell, ac a loscant y ddinas hon â thân.
11 A phan aeth llu y Caldeaid ymmaith oddi wrth
Ierusalem, rhac llu Pharao,
12 t Yna Ieremi a aeth allan o Ierusalem i fyned i t Mat.10, 16, 17
wlâd Beniamin, i ymado oddi yno o fysg y bobl.
13 u Pan ddaeth efe i borth Beniamin, yr [oedd] u Phil. 4, 8
yno bennswyddog ai enw ef [oedd] Ieriah mab Sel- 1Thes.5, 22
emiah fab Hananiah, ac efe a ddaliodd Ieremi y 1Cor.13, 5, 6, 7
prophwyd gan ddywedyd: Cilio at y Caldeaid yr Sal 35,11
ydwyt ti.
14 Yna y dywedodd Ieremi, Nid gwir [hynny,] nid
ydwyfi yn cilio at y Caldeaid: ond ni wrandawe efe
arno: felly Ieriah a ymaflodd yn Ieremi, ac ai dygodd
ef at y tywysogion.
15 v Am hynny y tywysogion a ddigiasant wrth v Gen. 39 19
Ieremi, ac a barasant ei faeddu ef, ac ai rhoddasant ef
yn y carchar-dŷ yn nhŷ Ionathan yr scrifennydd: o
herwydd hwnnw a wnaethent hwy yn garchar-dŷ.
16 w Pan ddaeth Ieremi i'r daiar-dŷ a'r carchar, w Act.16 24
ac [wedi] i Ieremi aros yno ddyddiau lawer, Mat 5.12
17 x Yna y brenin Sedecia a anfonodd, ac ai cym- x Marc 6, 20
merodd ef allan, a'r brenin a ofynnodd iddo yn gyf- Mat.11,7
rinachol yn ei dŷ ei hun, ac a ddywedodd, A oes
gair oddi wrth yr Arglwydd? yntef a ddywedodd,
Oes, canys tydi (eb efe) a roddir yn llaw brenin Ba-
bilon.
18 Ieremi hefyd a ddywedodd wrth y brenin
Sedecia, Pa bechod a wneuthum i i'th erbyn di? neu
yn erbyn dy weision, neu yn erbyn y bobl hyn pan
i'm rhoddasoch fi yn y carchar-dŷ?
19 y Pa le [y mae] eich prophwydi y rhai a proph- y 2Bren. 3, 13
wydasant i chwi gan ddywedyd, Ni ddaw brenin Ba-
bilon i'ch erbyn, nac yn erbyn y wlâd hon.
20 z Ac yn awr gwrando di atolwg O arglwydd z Heb. 12 11
frenin, ac atolwg deued fyng-weddi ger dy fron di: Eph. 5,
ac na ddychwel fi i dŷ Ionathan yr scriennydd rhac 25 Iob 2, 4
fy marw yno. Diar. 10
21 Yna y brenin Sedecia a orchymynnodd iddynt 12
hwy osod Ieremi yng-hyntedd y carchar-dŷ, a rhoddi 2Cor.6,4 Sal 33,19
iddo ef deisen o fara beunydd o heol y pobyddion, a 37, 19
nes darfod yr holl fara o'r ddinas: felly Ieremi a ar-
hosodd yng-hyntedd y carchar-dŷ.

## PEN. XXXVIII.

*Y swyddogion yn peri rhoi Ieremi mewn pydew. 14 Ebedmelech yn ei gael ef allan. 17 Ieremi yn cynghori y brenin. 27 Ac yn cudw hynny yn gyfrinachol.*

YNA a Saphatiah mab Mathan, a Gedaliah mab a Act.4,2
Phashur, ac Iucal mab Semeliah, a Phashur a 15, 45
mab Malciah a glywsant y geiriau y rhai a draethase Mica 2, 11
Ieremi wrth yr holl bobl, gan ddywedyd, Act. 28, 30
2 Fel hynn y dywedodd yr Arglwydd, Yr hwn a
arhoso yn y ddinas hon a fydd farw trwy 'r cleddyf,
trwy newyn, a thrwy haint: a'r neb a elo allan at y
Caldeaid a fydd byw, ai einioes fydd sclyfaeth iddo,
canys byw fydd efe.
3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Y ddinas hon a
lwyr roddir yn llaw llu brenin Babilon, ac efe ai
hennill hi.
4 b Yna y tywysogion a ddywedasant wrth y brenin, b Esa. 1, 10
Rhodder atolwg y gŵr hwn i farwolaeth, o blegit fel 1 Cor. 1,
hyn y mae efe yn gwanhau dwylo y rhyfel-wŷr y rhai a 26 Ex. 5. 4
adawyd yn y ddinas hon, a dwylo yr holl bobl, gan Ioan 11,
ddywedyd wrthynt hwy yn ol y geiriau hyn: o her- 28 Act. 17 6
wydd nid yw y gŵr hwn yn ceisio llês i'r bobl hyn, a 24, 5
onid niwed.

c 1 Sam. 5 c A'r brenin Sedecia a ddywedodd, Wele ef yn
59,9 Preg.10, eich llaw chwi: canys ni ddichon y brenin [nacâu]
16 dim i chwi.
d2Cor.4, 6 d Yna hwynt a gymmerasant Ieremi, ac ai bwr-
6,9 Heb. 11, iasant ef i bydew Malchial mab Hamelech yr hwn
36 oedd yng-hyntedd y carchar-dŷ a hwynt a ollyngas-
ant Ieremi wrth raffau: ac nid [oedd] dwfr yn y
pydew onid tomm, felly Ieremi a lynodd yn y domm.
eLuc 10, 7 e Pan glybu Ebedmelech yr Ethiopiad (un o'r
33 Phil 4,12 stafellyddion, yr hwn oedd yn nhŷ y brenin) iddynt
hwy roddi Ieremi yn y pydew,
8 Yna Ebedmelech a aeth allan o dŷ 'r brenin, ac
a lefarodd wrth y brenin (yr hwn oedd ym mhorth
Beniamin gan ddywedyd:
fDiar.30 9 f O fy arglwydd frenin drwg y gwnaeth y gwŷr
9,10 Iob31,34 hyn gwbl a'r a wnaethant i Ieremi y prophwyd yr
hwn a fwriasant hwy i'r pydew: canys efe a fydd
marw o newyn yn y fan lle mae, o herwydd nid oes
bara mwyach yn y ddinas.
gDiar.21 10 g Yna y brenin a orchymynnodd i Ebedmelech
1 Ester 5,2 yr Ethiopiad gan ddywedyd: Cymmer di oddi ymma
Dat. 12, ddeng-wr ar hugain gyd â thi, a chyfot ti Ieremi y
16 prophwyd o'r pydew cynn ei farw.
11 Felly Ebedmelech a gymmerodd y gwŷr gyd ag
ef, ac a aeth i dŷ 'r brenin tann y tryssor-dŷ, ac efe a
gymmerodd oddi yno hên garpiau, a hên bwdr-
frattiau, ac ai gollyngodd hwynt at Ieremi i'r pydew
wrth raffau.
hMarc12 12 h Ac Ebedmelech yr Ethiopiad a ddywedodd
42 1 Cor. 1, wrth Ieremi, Gosot yn awr yr hên garpiau, a'r pwdr-
27 frattiau hyn dan dy gesseiliau oddi tann y rhaffau: ac
Esa.51,6 Ieremi a wnaeth felly.
a 64, 6 Eph.4,32 13 Felly hwynt a dynnasant Ieremi wrth y rhaffau,
Mat. 26, ac ai cyfodasant ef o'r pydew: ac Ieremi a arhosodd
13 yng-hyntedd y carchar dŷ.
i 1 Bren. 14 i Yna y brenin Sedecia a anfonodd, ac a gym-
10,5 2Bren.16 merodd Ieremi y prophwyd atto ef i'r trydydd cyntedd
18 1 Bren. yr hwn sydd yn nhŷ yr Arglwydd: a'r brenin a ddy-
22, 16 wedodd wrth Ieremi, Mi a ofynaf i ti beth, na chela
ddim oddi wrthifi.
jAct. 23, 15 j Ac Ieremi a ddywedodd wrth Sedecia, Os myn-
16 Ezec 2,7 egaf i ti, oni roddi di fi i farwolaeth? ac os rhoddaf i
ti gyngor, ni wrandewi di arnaf.
16 Felly y brenin Sedecia a dyngodd wrth Ieremi
yn gyfrinachol gan ddywedyd, Fel y mae yr Arglwydd
yn fyw yr hwn a wnaeth i ni yr eneidiau hyn, ni rodd-
afi di i farwolaeth, ac ni roddaf di yn llaw y gwŷr
hyn y rhai ydynt yn ceisio dy einioes.
k 2Bren. 17 k Yna y dywedodd Ieremi wrth Sedecia, Fel hyn
24, 12 Mat. 16, y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, Duw Israel, Os
25 gan fyned yr ei di allan at dywysogion brenin Babi-
lon yna y bydd dy enaid fyw, ac ni loscir y ddinas
hon â thân, a thithe a fyddi fyw, ti a'th dylwyth.
lSal.101, 18 l Ac onid ei di allan at dywysogion brenin Ba-
3 Lef. 26, bilon, yna y ddinas hon a roddir i law y Caldeaid, a
14 hwynt ai lloscant hi â thân: ac ni ddiengi dithe oi
m Diar. llaw hwynt.
29, 15 19 m A'r brenin Sedecia a ddywedodd wrth Ieremi,
1Sam. 31 Yr ydwyfi yn ofni yr Iddewon y rhai a giliasant at y
4 Barn. 9, Caldeaid, rhac iddynt hwy fy rhoddi fi yn eu llaw
54 nDan. 4, hwynt, ac i'r rhai hynny fyng-watwar.
27 2 Cor. 6, 20 n Ac Ieremi a ddywedodd, Ni roddant ddim:
20 Philem. gwrando atolwg ar lais yr Arglwydd yr hwn yr yd-
21 wyfi yn ei draethu i ti, felly y bydd yn dda i ti, a'th
o1Cor 11 enaid a fydd byw.
25 21 o Ond os gwrthodi di fyned allan, dymma y
gair yr hwn a fynegodd yr Arglwydd i mi:
22 p Wele yr holl wragedd y rhai a adawyd yn nhŷ p 2Bren.
brenin Iuda a ddygir allan at dywysogion brenin 25,14,15 2 Cron.
Babilon: ac wele hwynt a ddywedant, Dy gyfeillion 36, 13
a'th hudasant, ac a'th orchfygasant, dy draed a lyn-
âsant yn y domm, [a] hwyntau a droasant yn eu hôl.
23 Am hynny hwynt a ddygant dy holl wragedd
a'th blant at y Caldeaid, ac ni ddiengi dithe, canys yn
llaw brenin Babilon i'th ddelir, a'r ddinas hon a los-
cir â thân.
24 Yna y dywedodd Sedecia wrth Ieremi, Na
chaffed neb wybod y geiriau hyn, ac ni'th roddir i
farwolaeth.
25 Os y tywysogion a glywant i mi ymddiddan â
thi, ac [os] deuant attat ti, a dywedyd wrthit, Mynega
yn awr i ni beth a draethaisti wrth y brenin, na chela
oddi wrthym ni, ac ni roddwn ni mo honot ti i far-
wolaeth: a pha beth a draethodd y brenin wrthit tithe?
26 Yna dywet wrthynt, Myfi a weddiais yn ostyng-
edic ger bron y brenin, na yrre efe fi trachefn i dŷ
Ionathan i farw yno.
27 q Yna yr holl dywysogion a ddaethant at Ieremi, qMat. 10
ac ai holasant ef: ac efe a fynegodd iddynt yn ôl yr 16 Col. 4, 6
holl eiriau hynny y rhai a orchymynnase y brenin: Act.23,6
felly hwynt a beidiasant ag ef, am na chafwyd clywed
y peth.
28 r Ac Ieremi a arhosodd yng-hyntedd y carchar-dŷ r Sal. 23,
hyd y dydd yr ennillwyd Ierusalem: ac [yno] yr oedd 4 a 118,12
efe pan ennillwyd Ierusalem. 13 2Tim. 4,

## PEN. XXXIX. 17 Esa. 28,

1 *Nabuchodonosor yn gwarche ar Ierusalem.* 4 *Y Caldeaid* 16
*yn dala Sedecia wrth ffoi.* 6 *Yn lladd ei blant, ac yn*
*tynnu ei lygaid yntef.* 11 *Rhydd-did Ieremi.* 15
*Diogelwch Ebedmelech.*

YN s y nawfed flwyddyn i Sedecia frenin Iuda ar s1 Bren.
y decfed mis, y daeth Nabuchodonosor brenin 25, 1 Zec. 1, 6
Babilon ai holl lu yn erbyn Ierusalem, ac a warchau-
asant arni.
2 t Yn yr unfed flwyddyn ar ddêc i Sedecia, y ped- tZec 8,19
werydd mis, ar y nawfed [dydd] o'r mis y rhwygwyd Mica 3, 11
y ddinas.
3 u Yna holl dywysogion brenin Babilon a ddaethant, uSeph.1,
ac a eisteddasant dann y porth canol, [sef] Neregal, 10
Sarezer, Samgarnebo, Sarsechim, Rabsaris, Neregal,
Sarezer, Rabmag, a holl dywysogion eraill brenin
Babilon.
4 v Pan welodd Sedecia brenin Iuda ai holl ryfel- vAmos2,
wŷr hwynt hwy, yna y ffoasant, ac yr aethant hwy o'r 14 2Bren 25
ddinas liw nôs trwy ardd y brenin i'r porth [yr hwn 4
sydd] rhwng y ddau fûr: ac efe a aeth allan tua 'r
anialwch.
5 w A llu y Caldeaid a erlidiasant ar eu hôl hwynt, w2Bren.
ac a ddaliasant Sedecia yn rhossydd Iericho, ac ai cym- 25, 55
merasant ef, ac ai dugasant at Nabuchodonosor frenin
Babilon i Riblah yng-wlâd Hemath: lle y rhoddodd
efe farn arno.
6 x Yna brenin Babilon a laddodd feibion Sedecia x Mat. 7,
yn Riblah yn ei olwg ef: brenin Babilon hefyd a ladd- 2
odd holl bendefigion Iuda. Iago2,13
7 y Ac efe a dynnodd lygaid Sedecia, ac ai rhwym- ySal. 107
odd ef â chadwynau iw ddwyn i Babilon. 10,11 Diar. 5,
8 z A'r Caldeaid a loscasant dŷ yr brenin, a thai y 22 z 2Bren.
bobl â thân: a hwynt a ddrylliasant furau Ierusalem. 25, 9
9 a A Nabuzaradan pennaeth y mil-wŷr a gaeth-glud- Esa. 5,8,
odd i Babilon weddill y bobl y rhai a adawsid yn y 9 a 2Bren.
ddinas, a'r encil-wŷr y rhai a giliasent atto ef, a gwedd- 25, 11

ill y bobl y rhai a adawsid.
b Dat. 19 10 b A Nabuzaradan pennaeth y mil-wŷr a adawodd
19, 20 i'r bobl dlodion (y rhai nid oedd dim ganddynt) [drigo
Num.35, yn llonydd] yng-wlâd Iuda, ac efe a roddodd iddynt
4 Ezec.34, win-llannoedd a meusydd y pryd hynny.
27, 28 c Diar.11 11 c A Nabuchodonosor brenin Babilon a roddodd
4 orchymyn am Ieremi i Nabuzaradan pennaeth y mil-
Dan. 1,9 wŷr, gan ddywedyd,
d 1 Pedr 12 d Cymmer di ef, a dot dy olwg arno ef, ac na wna
5, 3 iddo ddim niwed: onid megis y dywedo efe wrthit ti,
e Pedr 2 9 felly y gwnai di ag ef.
Sal. 106, 15 13 Felly Nabuzaradan pennaeth y milwŷr a anfon-
odd, Nebusazban hefyd, Rabsaris, Neregal, Sareser,
Rabmag, a holl bennaethiaid brenin Babilon [a anfon-
asant,]
14 Ie hwynt a anfonasant, ac a gyrchasant Ieremi o
gyntedd y carchar-dŷ, ac ai rhoddasant ef at Gedali-
ah fab Ahicam fab Saphan iw ddwyn ef adref: felly
efe a arhosodd ym mysc y bobl.
15 A gair yr Arglwydd a ddaeth at Ieremi, pan oedd
efe yn rhwym yng-hyntedd y carchar gan ddywedyd:
16 Dos ti a dywet i Ebedmelech yr Ethiopiad gan
ddywedyd, Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd
Duw Israel, Wele mi a baraf i'm geiriau ddyfod yn
erbyn y ddinas hon er niwed, ac nid er llês, a hwynt
a gwpleuir o flaen dy wyneb y dwthwn hwnnw.
e 1 Pedr 3 17 e Ond myfi a'th waredaf di y dydd hwnnw medd
9 yr Arglwydd: ac ni'th roddir yn llaw y dynnion y
Esa.5, 10 rhai yr ydwyt ti yn ofni rhagddynt.
11 f 1 Cron. 18 f Canys gan achub mi a'th achubaf, ac ni syrthi
5, 20 drwy'r cleddyf: eithr bydd dy einioes yn sclyfaeth i ti,
2 Cron 14 am it ymddiried ynofi medd yr Arglwydd.
11, 12 Sal.37,40

PEN. XL.

*Ieremi yn cael cennad i fyned lle y mynne. 8 Ac yn dewis aros gyd â Gedaliah. 14 Iohanan yn rhybuddio Gedaliah am y bwriad yr hwn oedd iddo.*

DYMMA y gair yr hwn a ddaeth at Ieremi oddi
wrth yr Arglwydd wedi i Nabuzaradan pennaeth
y mil-wŷr ei ollwng ef yn rhydd o Ramah pan ddalia-
sid ef, ac y rhwymasid ef mewn cadwyni ym mysg holl
gaeth-glud Ierusalem, ac Iuda y rhai a gaeth-gludasid
i Babilon.
2 A phenaeth y mil-wyr a gymmerodd Ieremi, ac a
ddywedodd wrtho ef: Yr Arglwydd dy Dduw di a lef-
arodd y drwg ymma yn erbyn y lle hwn.
g Dan. 4, 3 g A'r Arglwydd a ddug i benn, ac a wnaeth megis
27 Deut 29, y llefarodd, chwi a bechasoch yn erbyn yr Arglwydd,
24, 25 ac ni wrandawsoch ar ei lais ef: am hyny y daeth y
peth hyn i chwi.
h Act.12, 4 h Yn awr wele mi a'th ryddheais di heddyw o'r
7 cadwynau y rhai [oeddynt] am dy wddf, os da genit
Heb. 13, ti ddyfod gyd â mi i Babilon tyret, ac myfi fyddaf dâ
5 1 Tim 4 8 wrthit, ond os drwg y gweli di ddyfod gyd â mi i
Dat. 12, Babilon paid: gwêl di yr holl dir o'th flaen di ir fann
16 Gen.13,9 [y byddo] da, a bodlon gennit fyned, yno dos di.
Neh 2.6 5 i Ac yr oedd efe etto heb ddychwelyd, yna y [dy-
Diar. 21, wedodd Nabuzaradan] Dychwel di at Gedaliah fab
1 Ahicam, fab Saphan yr hwn a swyddodd brenin
Mat.6,33 Babilon ar ddinasoedd Iuda, ac aros di gyd ac ef ym
Diar. 15 mhlith y bobl, neu dos di lle y gwelech di yn dda
17 Sam. 7, fyned: felly pennaeth y mil-wŷr a roddodd iddo ef
20 lynniaeth, a rhodd, ac ai gollyngodd ef ymmaith.
6 Yna ydaeth Ieremi at Gedaliah fab Ahicam i
Mispah: ac efe a arhosodd gyd ag ef ym mysc y bobl
y rhai a adawsid yn y wlad.
7 Pan glybu holl dywysogion y lluoedd, ai gwŷr
hwynt y rhai oeddynt ar hyd y wlad, i frenin Babilon
swyddo Gedalia fab Ahicam ar y wlad, ac iddo ei
osod ef yn llywydd ar y gwŷr, a'r gwragedd, a'r plant,
a'r [rhai hynny] o dlodion y wlad, o ba rai ni chaeth-
gludasid [yr un] i Babilon,
8 j Yna hwy a ddaethant at Gedaliah i Mispah [sef] j Mica 7,
Ismael mab Nathaniah, ac Iohanan, ac Ionathan meib- 5 Esa. 26,
ion Careah, a Seraia mab Thanehumeth, a meibion 10 1 Cron.2,
Ephai y Netophathiad, ac Iezaniah mab Maachati, 48
hwynt hwy ai gwŷr. 1 Cron.8, 29 a 9, 35
9 k A Gedaliah mab Ahicam fab Saphan a dyngodd k 2 Bren.
wrthynt hwy ac wrth eu gwŷr, gan ddywedyd, Nac 25, 24
ofnwch chwi wasanaethu y Caldeaid: trigwch yn y
wlad, a gwasanaethwch frenin Babilon, felly y bydd
daioni i chwi.
10 l Am danaf finne, wele fi yn aros yn Mispah i l Deut 16
wasanaethu y Caldeaid y rhai a ddeuant attom ni: am 1
hynny cesclwch chwi win, a [ffrwythydd] hâf, ac olew,
a gosodwch [hwynt] yn eich llestri, a thrigwch yn
eich dinasoedd y rhai yr ydych yn eu meddiannu.
11 m A phan glybu yr holl Iuddewon y rhai [oedd- m Esa.16
ynt] ym Moab, ac ym mysg meibion Ammon, ac yn 4
Edom, ac yn yr holl wledydd, i frenin Babilon adael
gweddill o Iuda, a gosod Gedalia fab Ahicam fab Saph-
an yn llywydd arnynt hwy:
12 Yna yr holl Iuddewon a ddychwelasant, o'r holl
leoedd lle y gyrrasid hwynt, ac a ddaethant i wlad
Iuda at Gedalia i Mispah: a hwynt a gasglasant win, a
[ffrwythydd] hâf lawer iawn.
13 Iohanan hefyd mab Carea a holl dywysogion y
lluoedd y rhai [oeddynt] ar hyd y wlad a ddaethant at
Gedaliah i Mispah,
14 n Ac a ddywedasant wrtho ef, Oni wyddost ti yn n Galar.1
hyspys i Baalis brenin meibion Ammon anfon Ismael 2 Iob 6 14,
fab Nathaniah i'th ladd di? ond ni chredodd Gedaliah Zec.1,15
mab Ahicam iddynt hwy.
15 Yna Iohanan mab Careah a ddywedodd wrth
Gedaliah ym Mispah, yn gyfrinachol gan ddywedyd,
Gad ti i mi fyned attolwg, ac mi a laddaf Ismael fab
Nathaniah, fel na chaffo neb wybod: pa ham y ladde
efe di fel y gwascerid yr holl Iuddewon y rhai a ym-
gasclasant attat ti, ac y darfydde am weddill Iuda?
16 o Gedaliah mab Ahicam a ddywedodd wrth Ioha- o Mat.10,
nan fab Careah, Na wna di y peth hyn, canys celwydd 16, 17 Diar. 14,
yr ydwyt ti yn ei ddywedyd am Ismael. 15 Sal. 112, 5

PEN. XLI.

*Ismael yn lladd Gedalia, ac eraill, o dwyll trwy ymddiried.* 1 Cor.13 5, 4
*11 Iohanan yn ymlid Ismael.* p Zec 7.5

AC p yn y seithfed mis, Ismael mab Nathaniah fab a 8, 19
Elisama [(yr hwn oedd] o frenhinawl had) a Dan. 1,3 Diar. 1,
ddaeth gyd â phendefigion y brenin a deng-wr gyd ag 10
ef at Gedaliah, fab Ahicam i Mispah: ac hwynt a fwyt- 1 Sam.18 8
tasant yno fara ynghyd ym Mispah. Gen 37,
2 q Ac Ismael mab Nathaniah a gyfododd, [efe] a'r 3 Sal. 41, 9
deng-wr y rhai oeddynt gyd ag ef, ac a darawsant Ge- q Galar.1
daliah fab Ahicam, fab Saphan â'r cleddyf, ac ai ladd- 2 Sal 4? 7
asant ef, yr hwn a osodase brenin Babilon yn llywydd Rhuf.29,
ar y wlad. 31
3 r Ismael hefyd a laddodd yr holl Iuddewon y rhai r Sal 52,1.
oeddynt gydâ Gedaliah ym Mispah: a'r Caldeaid y rhai 2
a gafwyd yno yn rhyfel-wŷr.
4 A'r ail dydd wedi iddo ef ladd Gedaliah (pan nad s Barn.5,
oedd neb yn gwybod [hynny]) 15 Ios. 16. 1 Deut.14,
5 s Yna y daeth gwŷr o Sichem, o Silo, ac o Samaria 1 Lef. 19,
[sef] pedwar ugein-wr wedi eillio eu barfau, a dryllio 27
eu gwisgoedd, ac ymrwygo, â bwyd offrwm, ac â thus 2 Bren 25 9

yn eu dwylo iw hoffrymmu yn nhŷ yr Arglwydd.
t 1 Diar. 6, 12 6 t Ac Ismael mab Nathaniah a aeth allan i'w cyfar-
2 Sam. 1, 2 fod hwynt o Mispah gan gerdded rhacddo, ac wylo,
a phan gyfarfu efe â hwynt, efe a ddywedodd wrthynt
Deuwch chwi at Gedaliah fab Ahicam.
7 A phan ddaethant hwy i ganol y ddinas, yna Is-
mael mab Nathaniah ai lladdodd hwynt [ac ai bwriodd]
i ganol y pydew, efe a'r gwŷr y rhai [oeddynt] gyd ag ef.
8 A deng-wr a gafwyd yn eu mysc hwynt, y rhai a
ddywedasant wrth Ismael, Na ladd ni, o blegit y mae
gennym ni dryssor yn y maes, o wenith, a haidd, olew,
a mêl: felly efe a beidiodd, ac ni laddodd efe hwynt
hwy ym mysc eu brodyr.
u 1 Bren. 15, 22 9 u A'r pydew i'r hwn y bwriodd Ismael holl gelan-
Esa. 22, 9 eddau y gwŷr y rhai a laddase efe er mwyn Gedaliah
[yw] yr hwn a wnaethe y brenin Asa rhac Baasa
frenin Israel: hwnnw a ddarfu i Ismael mab Nathaniah
ei lenwi a'r rhai a laddasid.
v Neh. 6, 17, 18 10 v Yna Ismael a gaethiwodd yr holl weddill o'r
Act. 20, 29, 30 bobl y rhai [oeddynt] ym Mispah, [sef] merched y bre-
nin a'r holl bobl, y rhai a adawsid ym Mispah, ar y
rhai y gosodase Nebuzaradan pennaeth y mil-wŷr
Gedaliah fab Ahicam yn llywŷdd: ac Ismael mab Na-
thaniah ai caeth-gludodd hwynt, ac a aeth trosodd at
feibion Ammon.
11 Pan glybu Iohanan mab Careah, a holl dywysog-
ion y llu y rhai [oeddynt] gyd ag ef yr holl ddrwg a'r
a wnaethe Ismael mab Nathaniah,
w Gen. 14, 14 12 w Yna hwynt a gymmerasant [eu] holl wŷr, ac a
2 Sam. 2, 13 aethant i ymladd ag Ismael mab Nathaniah, ac ai caws-
ant ef wrth y dyfroedd mawrion y rhai ydynt yn Gibeon.
13 x A phan welodd yr holl bobl y rhai [oeddynt] gyd
ag Ismael, Iohanan fab Careah a holl dywysogion y
x Sal. 126, 6 llu y rhai [oeddynt] gyd ag ef, yna hwynt a lawenych-
Deut. 32, 36 asant.
14 y Felly yr holl bobl y rhai a gaeth gludase Ismael
y Gal. 5, 1 ymmaith o Mispa, a droisant yn eu hol, dychwelasant
1 Cor. 7, 21 hefyd, ac aethant at Iohanan fab Careah.
15 z Ond Ismael mab Nathaniah a ddiangodd yng-
z Iob 21, 30 hyd ag wyth nŷn oddi gan Iohanan, ac efe a aeth at
feibion Ammon.
16 a Yna Iohanan mab Careah a holl dywysogion y
a Diar. 12, 27 llu y rhai [oeddynt] gyd ag ef a gymmerasant yr holl
weddill o'r bobl y rhai a ddygase efe yn ei hol oddi
Iob 27, 16 ar Ismael fab Nathaniah o Mispah: wedi iddo ef ladd
Gen. 37, 56 Gedaliah fab Ahicam: [sef] cedyrn ryfel-wŷr, a
gwragedd a phlant, ac stafellyddion y rhai a ddugase
efe o Gibeon.
17 b Ac hwy a aethant oddi yno, ac a eisteddasant yn
Ceruth Chimham yn agos at Bethlehem: i fyned i'r
b 2 Sam. 19, 38 Aipht rhac y Caldeaid.
Ezec. 46, 17 18 O herwydd eu bod yn eu hofni hwynt, am i
Ismael mab Nathaniah ladd Gedaliah fab Ahicam yr
hwn a roddase brenin Babilon yn swyddog yn y wlâd.

## PEN. XLII.

*Y tywysogion yn gofyn cyngor i Ieremi. 13 Yntef yn cynghori iddynt nad elent i'r Aipht.*

FELLY c holl dywysogion y llu, ac Iohanan mab
Careah, ac Iezaniah mab Osiah, a'r holl bobl o
c Mat. 15, 8 fychan hyd fawr a nesasant,
2 d A hwynt a ddywedasat wrth Ieremi y prohwyd,
Atolwg gwrando di ein deisyfiad ni, a gweddia trosom
d 1 Sam. 7, 8 ni ar yr Arglwydd dy Dduw [sef] tros yr holl weddill
Esa. 37, 4 hyn, canys nyni a adawyd o lawer yn ychydig, fel y
mae dy lygaid di yn ein gweled ni:
3 e Fel y dangoso yr Arglwydd dy Dduw i ni y
ffordd yr hon y mae i ni rodio ynddi: a'r peth yr hwn e Ezr. 8, 21
a wnelom. Sal. 86, 11
4 f Yna Ieremi y prophwyd a ddywedodd wrthynt, 2 Bren. 22, 26
Myfi a'ch clywais [chwi:] wele mi a weddiaf ar yr
Arglwydd eich Duw yn ôl eich geiriau chwi: a pheth Mat. 18
bynnac a ddywedo yr Arglwydd am danoch, myfi ai f 1 Bren. 22, 14
mynegaf i chwi, nid ataliafi ddim oddi wrthych. Act. 20, 27
5 g A hwynt a ddywedasant wrth Ieremi, Yr Ar-
glwydd fyddo dyst gwirion a ffyddlon rhyngom ni, g Dat. 3, 14
y gwnawn yn ôl pôb gair a'r a anfono yr Arglwydd Diar. 14, 5, 15
dy Dduw [gyd â] thi attom ni.
6 h Os da neu os drwg [fydd,] ar lais yr Arglwydd Ex. 20, 7
ein Duw (yr hwn yr ydym ni yn dy anfon atto) y h Deut. 5
gwrandawn ni: fel y byddo da i ni pan wrandawom ar 38
lais yr Arglwydd ein Duw. 1 Bren. 8, 28
7 Ac ym mhen y deng-nhiwrnod y daeth gair yr Deut. 6, 3
Arglwydd at Ieremi.
8 Yna efe a alwodd ar Iohanan fab Careah, ac ar holl
dywysogion y llu y rhai [oeddynt] gyd ag ef, ac [ar]
yr holl bobl o fychan hyd fawr,
9 i Ac efe a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywed
Arglwydd Dduw Israel, yr hwn yr anfonasoch chwi fi i Tit. 2, 1
atto, i roddi i lawr eich gweddiau ger ei fron ef:
10 j Os mynnwch chwi drigo yn y wlad hon, myfi
a'ch adeiladaf chwi, ac ni's dinistriaf, myfi a'ch plannaf j Ex. 32
chwi, ac ni's diwreiddiaf: o blegit y mae yn edifar gen- Sal. 106, 45
nifi am y drwg yr hwn a wnaethum i chwi.
11 k Nac ofnwch rhac brenin Babilon, yr hwn y mae
arnoch chwi ei ofn, nac ofnwch ef ddim medd yr Ar- k Esa. 43, 5
glwydd, Canys myfi a fyddaf gyd â chwi i'ch achub Rhuf. 8, 31
chwi, ac i'ch gwaredu chwi oi law ef.
12 l Ac mi a ganiadhaf i chwi drugaredd, fel y trug-
arhao efe wrthych, ac y dygo efe chwi trachefn i'ch l Diar. 16, 1
gwlad eich hun.
13 Ond os dywedwch, Ni thrigwn ni yn y wlad hon:
heb wrando ar lais yr Arglwydd eich Duw,
14 m Gan ddywedyd, Na gê, o blegit i wlad yr Aipht
yr awn ni, lle ni welir rhyfel, ac ni chlywir sain udcorn m Diar. 33, 7
ac ni bydd arnom newyn bara, ac yno y trigwn ni.
15 n Am hynny O gweddill Iuda gwrandewch bell-
ach air yr Arglwydd, fel hyn y dywed Arglwydd y llu- n Luc
oedd Duw Israel, Os chwi gan osod a osodwch eich Deut 17, 15
wynebau i fyned i'r Aipht, ac a ewch i ymdeithio yno, Esa. 30, 1
16 o Y cleddyf yr hwn yr ydych chwi yn ei ofni a
fydd yno, [ac] efe a'ch goddiwedda chwi yn nhir yr o Esa. 31, 48
Aipht: a'r newyn yr hwn yr ydych chwi yn gofalu Ezec. 11, 8
rhagddo a'ch dilyn chwi i'r Aipht, ac yno y byddwch
feirw.
17 A'r holl wŷr ar a osodant eu hwynebau i fyned
i'r Aipht i aros yno a leddir a'r cleddyf, â newyn, ac
â haint, ac ni bydd ûn o honynt yn weddill, neu yn
ddiangol gan y dialedd yr hwn a ddygafi arnynt.
18 p Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd
Duw Israel, Megis y tywalltwyd fy llid; a'm digofaint p Esa. 65, 15
ar bresswyl-wŷr Ierusalem, felly y tywelltir fy nigofaint q Ezec. 21
arnoch chwithau pan ddeloch i'r Aipht: a chwi a fydd-
wch yn felldith, yn anghyfanneddol, yn ddirmyg, ac yn Act. 13, 26
warth, ac ni chewch chwi weled y lle hwn mwyach. Luc 16
19 q O gweddill Iuda, yr Arglwydd a ddywedodd 47, 48 Deut. 4, 26
wrthych, Nac ewch chwi i'r Aipht: gwybyddwch chwi
yn hyspys i mi eich rhybuddio heddyw.
20 r Diau eich bob chwi yn dwyllodrus yn eich calon- r Gal. 6, 7
nau, am fy anfon i at yr Arglwydd eich Duw gan ddy- Diar. 3, 22
wedyd, Gweddia di trosom ni ar yr Arglwydd ein Duw, Mat. 22, 18
a mynega di i ni yn ol yr hyn oll a ddywedo yr Argl- Ezec. 33, 31, 32
wydd ein Duw ni, ac nyni ai gwnawn.

a 1Pedr 3, 21 a Am hynny y mynegais i chwi heddyw, ond ni
13 wrandawsoch ar lais yr Arglwydd eich Duw, nac ar
ddim oll a'r a anfonodd efe [gyd â] mi attoch chwi.
22 Ac yn awr gwybyddwch chwi yn hyspys mai
drwy 'r cleddyf, [a] thrwy newyn, a thrwy haint y
byddwch chwi feirw yn y lle, yr hwn yr ydych yn
ewyllysio myned i ymdeithio ynddo.

## PEN. XLIII.

*Iohanan yn myned a'r bobl i'r Aipht. 8 Ieremi yn prophwydo dinistr yr Aipht.*

APHAN ddarfu i Ieremi lefaru holl eiriau yr
Arglwydd eu Duw hwynt wrth yr holl bobl, y
rhai 'r anfonase yr Arglwydd eu Duw hwynt ef attynt:
[ie] yr holl eiriau hynny,
t Mal. 3, 2 t Yna y llefarodd Azariah mab Osaiah, ac Iohanan
13 mab Careah, a'r holl ddynnion beilchion gan ddyw-
Ex. 5, 2 edyd wrth Ieremi, Celwydd yr ydwyt ti yn ei ddyw-
Sal. 12, 4 edyd, ni anfonodd yr Arglwydd ein Duw ni mo honot
a 109, 4 ti i ddywedyd, Nac ewch i'r Aipht i ymdeithio yno:
2Cron 35, 16
u Mat. 5, 3 u Eithr Baruc mab Neriah a'th annogodd di i'n
11 herbyn ni, i gael ein rhoddi ni yn llaw y Caldeaid i'n
Sal. 15, 3 lladd, ac i'n caeth-gludo i Babilon.
Esa. 17, 4
v Mal. 3, 5 4 v Ond ni wrandawodd Iohanan mab Careah na
Preg. 9, 16 holl dywysogion y llu, na'r holl bobl a'r lais yr Ar-
Sal 37, 22 glwydd i drigo yn nhir Iuda:
5 Eithr Iohanan mab Careah a holl dywysogion y
llu a ddygasant ymmaith holl weddill Iuda y rhai a
ddychwelasent oddi wrth yr holl genhedloedd (lle y
bwriasid hwynt) i aros yng-wlad Iuda,
w Galar. 6 w Yn wŷr a gwragedd a phlant, a merched y bren-
5, 1 in, a phob [perchen] enaid a'r a adawse Nabuzaradan
Preg. 8, 14 a 9, 1, 2 pennaeth y mil-wŷr gyd a Gedaliah mab Ahicam fab
Sal. 36, 6 Saphan, y prophwyd Ieremi hefyd, a Baruc fab Neri-
Ioan 21, 18 ah [a gymmerasant hwy ymmaith.]
7 Felly hwynt a ddaethant i wlâd yr Aipht, canys ni
wrandawsant ar lais yr Arglwydd: yna y daethant i
Thaphnis.
x 1Tim. 2, 8 x A gair yr Arglwydd a ddaeth at Ieremi yn
9 Thaphnis gan ddywedyd,
Mat. 28, 20 9 Cymmer di yn dy law gerrig mawrion, a chuddia
Heb. 13, 5 di hwynt yn yr odyn briddfaen yr hon [sydd] yn nrws
tŷ Pharao yn Thaphnis yng-olwg gwŷr Iuda:
y Esa. 10, 5 10 A dywet ti wrthynt, Fel hyn y dywed Arglwydd
Dan. 2, 21 y lluoedd Duw Israel, Wele mi a anfonaf, ac a ddygaf
Nabuchodonosor frenin Babilon fyng-wâs, ac mi a
osodaf ei frenhin-faingc ef ar y cerrig hyn, y rhai a
guddiais, ac efe â dana babell arnynt.
z Iob 20, 29 11 z A phan ddelo efe, efe a deru wlâd yr Aipht,
rhai ag angeu, a rhai â chaethiwed, a rhai a'r cleddyf.
a Esa 19, 1 12 a Ac mi a gynneuaf dân yn nhai duwiau yr Aipht,
Ex. 11, 7 ac efe ai llysc hwynt, ac ai caethiwa hwynt, ac efe a
ymwisca â gwlad yr Aipht fel y gwisco bugail ei
ddillad: ac efe a aiff allan oddi yno mewn heddwch.
13 Ac ef a dyrr ddelwau tŷ yr haul yr hwn [sydd]
yng-wlâd yr Aipht, ac efe a lysc dai duwiau yr Aipht
â thân.

## PEN. XLIV.

*Ieremi yn ceryddu y bobl am eu gau-dduwiaeth, ac yn dangos y deue dialedd Duw arnynt, a dinistr ar yr Aipht.*

b Ex. 14, 2 DYMA b y gair yr hwn a ddaeth at Ieremi, am
Esa. 19, 13 yr holl Iddewon y rhai oeddynt yn trigo yng-
Gen. 10, 14 wlad yr Aipht, [ac] yn presswylio ym Migdol, ac yn
Thaphnis, ac yn Noph, ac yng-wlad Pathros gan
ddywedyd,
c Mica 3, 12 2 c Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd Duw
Israel, Chwi a welwch yr holl ddrwg yr hwn a ddy-
gais i ar Ierusalem, ac ar holl ddinasoedd Iuda; ac
wele hwynt heddyw yn anghyfanedd, ac heb bress-
wylydd ynddynt,
3 [A hynny] er mwyn eu drygioni hwynt yr hwn a
wnaethant i'm diglloni fi, gan fyned i arogl-darthu [ac]
i wasanaethu duwiau dieithr y rhai nid adwaenent
hwy, [na] chwithau, na'ch tadau.
4 Er i mi anfon attoch chwi fy holl weision, y proph-
wydi, gan foreu-godi, ac anfon i ddywedyd, Na
wnewch attolwg y ffieidd-beth hyn, yr hwn sydd
gâs gennifi,
5 Etto ni wrandawsant, ac ni ogwyddasant eu clust-
iau i ddychwelyd oddi wrth eu drygioni, fel nad
arogldarthent i dduwiau dieithr.
6 d Am hynny y tywalltwyd fy llid, a'm digofaint, ac d Neh. 13, 18
y lloscodd efe yn ninasoedd Iuda, ac yn heolydd Ieru- Dan. 9, 12
salem, ac y maent hwy yn anghyfannedd, ac yn ddi- Zec. 1, 5, 6
ffaethwch fel [y gwelir] heddyw. 1Cor. 10, 11
7 e Ac yn awr fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y e Ezec 18, 32
lluoedd Duw Israel: Pa ham y gwnewch y mawr Num. 16, 38
ddrwg hwn yn erbyn eich eneidiau? i beri ddinistrio
i chwi [bob] gŵr a gwraig, plentyn, a'r hwn sydd yn
sugno, ymmaith o Iuda, fal na adawer i chwi wedd-
ill?
8 I'm digllonifi a gweithredoedd eich dwylo, gan
arogl-darthu i dduwiau dieithr yng-wlad yr Aipht yr
hon y daethoch chwi i aros ynddi, i'ch difetha eich
hunain, ac i fod yn felldith, ac yn warth ym mysc holl
genhedloedd y ddaiar.
9 f A anghofiasoch chwi ddrygioni eich tadau, a f Neh. 13, 26
drygioni brenhinoedd Iuda, a drygioni eu gwragedd 2Pedr 2,
hwynt, a'ch drygioni eich hunain, a drygioni eich 4
gwragedd y rhai a wnaethant hwy yng-wlad Iuda, ac
yn heolydd Ierusalem?
10 g Nid ydynt edifeiriol hyd y dydd hwn, ac nid g Diar 28, 14
ofnasant, ni rodiasant ychwaith yn fy nghyfraith, Hos. 3, 5
nac yn fy neddfau y rhai a roddais i o'ch blaen chwi,
ac o flaen eich tadau.
11 h Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd h Amos. 9, 4
Duw Israel, Wele myfi a osodaf fy wyneb yn eich
erbyn chwi, er niweid [i chwi] ac i ddifetha holl Iuda:
12 Ac mi a gymmeraf weddill Iuda y rhai a osodas-
ant eu hwynebau i fyned i wlad yr Aipht i aros yno,
ac hwynt a ddifethir oll, yng-wlad yr Aipht y syrth-
iant trwy y cleddyf, [a] thrwy newyn y difethir hwynt
o fychan hyd fawr, trwy'r cleddyf a thrwy newyn y
byddant feirw: a hwynt a fyddant yn felldith, yn
anghyfanneddol, yn ddirmyg ac yn warth.
13 Canys myfi a ymwelaf â thrigolion gwlad yr
Aipht fel yr ymwelais ag Ierusalem, â chleddyf, â
newyn, ac â haint.
14 Fel na byddo un a ddiango, nac a adawer yn fyw
o weddill Iuda (y rhai a aethant i ymdeithio yno i
wlad yr Aipht) i ddychwelydd i wlad Iuda yr hon y
mae eu hewyllys ar ddychwelyd i aros ynddi, canys
ni ddychwel ond y rhai a ddiangant.
15 i Yna yr holl wŷr y rhai a wyddent iw gwragedd i 2Cron. 28, 22
arogl-darthu i dduwiau dieithr, a'r holl wragedd y rhai
oeddynt yn sefyll yn gynulleidfa fawr, a'r holl bobl y Gen. 19, 4
rhai oeddynt yn trigo yn yr Aipht, yn Pathros a atteb- Mat. 7, 10
asant Ieremi gan ddywedyd: Rhuf. 1, 23

---

PEN XLIV. Adn. 9] DRYGIONI. Y mae'r un gair yn Hebraeg, yn arwyddocau'r drwg a wneir, a'r drwg a geir; sef pechod a'r gospi ami wnawn ddrwg ni chawn ddrwg, 1 Pedr iii 13. adn. 17. TADAU, &c Gwell gan gnawd draddodiad dynol nâ gwirionedd nefol; a dychymmyg dyn, na dysgeidiaeth Duw! Rhuf. i. 15.

16 [Am] y gair yr hwn a leferaist ti wrthym ni yn
enw yr Arglwydd, ni wrandawn ni arnat,
jDeut.12, 8 17 j Onid gan wneuthur y gwnawn ni bob peth a'r a
Phil 3,19 ddelo allan o'n genau, gan arogl-darthu i frenhines y
Ezec.20, 8 nefoedd, a thywallt iddi hi ddiodydd offrwm, megis y
1 Pedr 1, 18 gwnaethom ni, a'n tadau, ein brenhinoedd, a'n tywys-
ogion yn ninasoedd Iuda, ac yn heolydd Ierusalem:
Ezec.16, 49 canys [yna] yr oeddem ni yn ddigonol o fara, ac yn
Esa.48,5 dda, ac heb weled drwg.
kMal. 3, 14 18 k Ond er pan beidiasom ac arogl-darthu i frenhin-
es y nefoedd, ac a thywallt diod-offrwm iddi hi, bu
arnom eisieu pob [dim:] trwy gleddyf hefyd, a thrwy
newyn y darfuom ni.
l Gen. 3, 16 19 A phan oeddem ni yn arogl-darthu i frenhines y
Act. 13, 50 nefoedd, ac yn tywallt diod offrwm iddi: ai heb fodd
ein gwŷr y gwnaethom ni iddi hi deisennau iw llaw-
enhau hi, a diod offrwm iw dywallt iddi?
20 Yna Ieremi a ddywedodd wrth yr holl bobl, wrth
y gwŷr, ac wrth y gwragedd, ac wrth yr holl bobl,
(y rhai ai attebasent ef) gan ddywedyd:
m2Bren. 23, 26 21 m Oni chofiodd yr Arglwydd yr arogl-darth yr
Hos. 2, 7 hwn a arogldarthasoch chwi yn ninasoedd Iuda, ac yn
heolydd Ierusalem, [ie] chwychwi a'ch tadau, eich
brenhinoedd a'ch tywysogion, a phobl y wlad? ac oni
ystyriodd efe hyn yn ei galon?
nLuc 18, 7 22 n Fel na allei yr Arglwydd gyd ddwyn gan ddryg-
2Cron 36 26 ioni eich gweithredoedd [a] chan y ffiaiddbethau y
Esa. 3,14 rhai a wnaethech: am hynny yr aeth eich tir yn ang-
hyfannedd, ac yn ddiffaethwch, ac yn felldith heb bres-
swylydd, megis [y gwelir] y dydd hwn.
oGalar.1 8 23 o O herwydd i chwi arogl-darthu, ac am i chwi
bechu yn erbyn yr Arglwydd, ac na wrandawsoch ar
lais yr Arglwydd, ac na rodiasoch yn ei gyfraith ef,
nac yn ei ddeddfau ef, ac yn ei destiolaethau: am hynny
y digwyddodd i chwi yr aflwydd hwn fel [y gwelir]
pLef. 26, 44, 45 heddyw.
Hab. 3,2 24 p Ac Ieremi a ddywedodd wrth yr holl bobl, ac
Sal.91,12 wrth yr holl wragedd, Gwrandewch air yr Arglwydd
qIob 15, 5 holl Iuda y rhai [ydych] yng-wlad yr Aipht.
Iudas 13 25 p Fel hyn y llefarodd Arglwydd y lluoedd Duw
Esa. 28, 15 Israel gan ddywedyd, Chwychwi, a'ch gwragedd a
Mat.14,9 gyflawnasoch a'ch dwylo yr hynn a draethasoch a'ch
genau, gan ddywedyd, Gan wneuthur nyni a wnawn
ein hadduned au y rhai a addunasom ni, am arogl-
darthu i frenhines y nefoedd, ac am dywallt diod
offrwm iddi hi, llwyr y cwblhasoch eich addunedau,
rGen.22, 17 a llwyr y gwnaethoch yr hynn a addunasech chwi.
Amos6,6 26 r Am hynny y gwrandewch air yr Arglwydd holl
Sal.50,16 Iuda, y rhai sy yn aros yng-wlad yr Aipht: Wele
Mal. 1,9, 10 myfi a dyngais i'm enw mawr medd yr Arglwydd, na
Mat. 5, 9 elwir fy enw i mwyach o fewn holl wlâd yr Aipht
yng-enau un gŵr o Iuda gan ddywedyd, Byw yw 'r
sSal.56,6 Arglwydd Dduw.
27 s Wele mi a wiliaf arnynt hwy er niwed, ac nid
er daioni, a holl wŷr Iuda y rhai [ydynt] yng-wlad yr
Aipht a ddifethir a'r cleddyf, ac â newyn hyd oni
tEzec.11 16 ddarfyddant.
Esa. 10, 28 t A'r rhai ddiangant gan y cleddyf, [ac] a ddych-
Mat.27,13 welant o wlâd yr Aipht i wlâd Iuda [fyddant] ychyd-
Sal.33,11 ig o nifer: a holl weddill Iuda y rhai a ddaethant i
wlâd yr Aipht i aros yno, a gânt wybod gair pwy a
saif, ai fy eiddo i, ai yr eiddo hwynt.
uDan. 2, 21 29 A hynn [fydd] yn arwydd i chwi medd yr Ar-
Sal. 57,7 glwydd, sef yr ymwelaf a chwi yn y lle hwn, fel y
Ezec. 28, gwypoch y saif fyng-eiriau i'ch erbyn chwi er niwed.
19. a 30, 10, 11 30 u Fel hynn y dywed yr Arglwydd, Wele myfi a
roddaf Pharao Hophra frenin yr Aipht yn llaw ei
elynnion, ac yn llaw y rhai sy yn ceisio ei einioes ef,
fel y rhoddais i Sedecia frenin Iuda yn llaw Nabu-
chodonosor brenin Babilon ei elyn, yr hwn oedd yn
ceisio ei einioes.

## PEN. XLV.

*Ieremi yn rhoddi cysur i Baruc.*

DYMMA y gair yr hwn a lefarodd Ieremi y proph-
wyd wrth Baruc fab Neriah pan scrifennase efe
y geiriau hynn o enau Ieremi mewn llyfr, yn y bed-
waredd flwyddyn i Iehoacim fab Iosiah brenin Iuda,
gan ddywedyd, v2Cor. 1
2 v Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw Israel 4
wrthit ti Baruc, wSal.120 5 a 21,1
3 w Tydi a ddywedaist, Gwae fi yn awr, canys yr Sal 69,27
Arglwydd a chwanegodd dristwch ar fy ngofid: myfi Act. 20, 23
a ddefffygiais yn fy ochain, ac ni chefais orphywystra. xEsa. 52
4 x Fel hynn y dywedi di wrtho ef, Yr Arglwydd a 5
ddywedodd fel hynn, Wele myfi a ddestruwiaf yr hynn
a adeiledais, ac mi a ddiwreiddiaf yr hynn a blennais,
nid amgen yr holl wlâd hon. ySal. 4,6
5 y Gan hynny a geisi di fawredd i ti? na chais: Gen.6,12
canys wele myfi a ddygaf ddialedd ar bob cnawd medd
yr Arglwydd, ond mi a roddaf dy einioes di yn scly-
faeth ym mha le bynnac yr elech di.

## PEN. XLVI.

*Ieremi yn prophwydo dinistr i'r Aipht. 27 A gwared i Israel.*

DYMMA z y gair yr hwn a ddaeth at Ieremi y z Zec. 2,
prophwyd yn erbyn y cenhedloedd, 19
2 a Yn erbyn yr Aiphtiaid, yn erbyn llu Pharao a 2Bren. 23, 29
Necho brenin yr Aipht, yr hwn oedd wrth afon Eu- a 24, 7
phrates yn Carhamis, yr hwn a ddarfu i Nebuchodon-
osor brenin Babilon ei ladd yn y bedwaredd flwyddyn
i Iehoiacim fab Iosia brenin Iuda.
3 b Teclwch chwi y tarian, a'r astalch, a nesewch i bIoel 3,9
ryfel. 12
4 c Cenglwch y meirch, ac aed y marchogion arnynt, c1 Bren.
sefwch mewn helmau, gloiwwch y gwaiw-ffynn, a 18, 44
gwisgwch chwi y llurigau. 2Bren 10 3
5 d Pa ham y gwelafi hwynt yn ddychrynedic wedi dMica 1,
cilio yn eu hol, ai cedyrn hwynt wedi eu lladd? ie 7
hwy a ffoasant ymaith ac nid edrychasant yn eu hol, Dat.6,15
dychryn [sydd] o amgylch medd yr Arglwydd.
6 e Ni chaiff y buan ffoi, na'r cadarn ddiange: tua'r eAmos2,
gogledd ger llaw afon Euphrates y tripiant, ac y 14
syrthiant. Sal.33,15 17
7 f Pwy [yw] hwn [sydd] yn ymgodi fel afon? ai f Ex. 15,
ddyfroedd yn dygyfor fel y prif-afonydd? 9, 10 Esa. 8.7
8 g Yr Aipht sydd fel afon yn ymgodi, ai dyfroedd gDat.18,
sy yn dygyfor fel y prif-afonydd: a hi a ddywedodd, 7, 8
Mi a âf i fynu [ac] a orchguddiaf y ddaiar, myfi a Sal. 7, 15
ddifethaf y ddinas a'r rhai ydynt yn trigo ynddi.
9 h O feirch deuwch i fynu, O gerbydau ymdreigl- hGen 10
wch, a deuwch allan y cedyrn, yr Ethiopiaid a'r Lib- 13
iaid y rhai sy yn dwyn tarian, a'r Lydiaid y rhai ydynt
yn teimlo, [ac] yn tynnu bwa.
10 i Canys dydd Arglwydd Dduw y lluoedd [yw] iEsa. 61,
hwn [sef] dydd dial, fel yr ymddialo efe ar ei elynion 2 a 34. 6
o herwydd y cleddyf a yssa ac a ddigonir, efe hefyd a Dat. 19,
drochir yn eu gwaed hwynt: canys aberth i Arglwydd 17
Dduw y lluoedd [fydd] yn nhir y gogledd wrth afon
Euphrates.
11 O forwyn ferch yr Aipht dos di i fynu i Gilead,
a dwg driagl: yn ofer yr arferi di lawer o feddygin-
iaethau, ni [bydd] iechyd i ti.
12 Y cenhedloedd a glywsant dy waradwydd, dy

waedd a lanwodd y wlad, canys cadarn wrth gadarn
a dramgwyddodd, a hwynt ill dau a gyd-syrthiasant.
jEsa.19, 13 j Y gair yr hwn a lefarodd yr Arglwydd wrth
1 a 10,5 Ieremi y prophwyd, am ddyfodiad Nabuchodonosor
brenin Babilon i ddinistrio gwlad yr Aipht.
kIoel 3,9 14 k Mynegwch yn yr Aipht, cyhoeddwch ym Mig-
2Bren 24 dol, hyspyswch yn Noph, ac yn Thaphnis: dywedwch
7 Saf di, a bydd barod, o blegit y cleddyf a yssa dy am-
gylchoedd.
lBarn.5, 15 l Pa ham y syrthiodd dy rai cryfion? ni allent hwy
21 sefyll, am i'r Arglwydd eu gwthio hwynt.
Ios.21,44
mLef.26 16 m Efe a wnaeth i lawer syrthio, pob un a syrth-
37 iodd ar ei gilydd, a hwynt a ddywedasant, Cyfodwch,
Dat.6,15 a dychwelwn at ein pobl i wlad ein ganedigaeth, rhac
cleddyf y gorthrymmwr.
nEx.15,9 17 n Yno y gwaeddasant, Pharao brenin yr Aipht
[sydd frenin] terfysc, yr amser nodedic a aeth heibio.
oEsa.47, 18 o Fel yr ydwyf fi yn fyw medd y brenin (enw yr hwn
4 a 48,2 [yw] Arglwydd y lluoedd) cynn sicrred [a bod] Tha-
Tit.1,2 bor yn y mynyddoedd, a Charmel yn y mor, y daw
Dat.17 7 [dinistr ar yr Aipht.]
Ezec.12,
4
19 O ferch drigiannol yr Aipht gwna i ti offer caeth-
glud: canys Noph a fydd anghyfannedd, ac a ddiff-
eithir heb bresswylydd.
pHos.10 20 p Yr Aipht [sydd] anner brydferth, dinistr sydd
11 yn dyfod: o'r gogledd y mae efe yn dyfod.
qDat.18, 21 q Ei [ryfel-wŷr] cyflog hefyd [ydynt] oi mewn hi,
9 fel lloi pascedic, etto hwynt a droant eu hwynebau, ac
Sal.37,13 a gyd-ffoant [ac] ni safant, o herwydd dydd eu destruw
hwynt, [ac] amser eu gofwy sydd yn dyfod arnynt.
Sal.49,4 22 r Ei llais hi a aiff allan fel [lleisin] sarph, canys â
Sal.51,1 llu yr ânt hwy, ac â bwyill y deuant yn ei herbyn hi,
fel cymyn-wŷr coed.
Ex.10, 23 s Hwynt a gymynant ei choed hi medd yr Argl-
8 wydd, diau nid ellir eu cyfrif hwynt: canys amlach
Dat.13,3 fyddant na'r ceiliogod rhedyn, ac heb rifedi arnynt.
Barn.6,5
24 Merch yr Aipht a gywilyddiwyd: hi a roddwyd
yn llaw pobl y gogledd.
Nah.3,8 25 t [Fel hyn] y dywedodd Arglwydd y lluoedd
x.12,12 Duw Israel, Wele myfi a ymwelaf â gweryn Alexan-
dria, ac â Pharao, ac â'r Aipht, ac ai duwiau hi, ac ai
brenhinoedd hi, sef â Pharao, ac â'r rhai ydynt yn
ymddiried ynddo.
Mica 7, 26 u Ac mi ai rhoddaf hwynt yn llaw y rhai ydynt
c.10, yn ceisio eu heinioes, sef yn llaw Nabuchodonosor
brenin Babilon, ac yn llaw ei weision ef: ac wedi
hynny hi a gyfanneddir megis y dyddiau gynt, medd
yr Arglwydd.
sa.41, 27 x Ond nac ofna di O fyg-wâs Iacob, a thithe Israel
Ios9,4 na ddychrynna, canys wele myfi a'th gadwaf di o bell,
ec.37, a'th hâd o wlad eu caethiwed: ac Iacob a ddychwel,
22
.60, ac a orphwys, ac a fydd lwyddiannus, ac heb neb [ai]
dychrynno.
s.2,18 28 O fyng-wâs Iacob nac ofna medd yr Arglwydd,
canys yr ydwyf fi gyd â thi, ac mi a wnaf drangc ar yr
holl genhedloedd y rhai i'th fwriais di attynt, ond ni
wnaf i drangc arnat ti: eithr mi a'th gospaf di mewn
barn, ac ni'th dorraf ymaith yn llwyr.

## PEN. XLVII.

*Prophwydoliaeth yn erbyn y Philistiaid.*

Brem. GAIR w yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Ieremi
29 y prophwyd yn erbyn y Philistiaid cynn i Pharao
L.17, ddinistrio Azah.
.2,7 2 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Wele dyfroedd
a gyfodant i fynu o'r gogledd, ac a fyddant fel afon
lifeirioc, a hwynt a lifant dros y wlad, a'r hyn sydd
ynddi, [tros] y ddinas a'r rhai sy yn aros ynddi: yna
y dynion a waeddant, a holl bresswyl-wŷr y wlad a
udant,
3 x Rhac sŵn cynnwrf carnau [y meirch] cryfion, xNah.3,
rhac trwst ei gerbydau, [a] thrwst ei olwynion ef: y 2
tadau nid edrychant ar y plant gan wendid dwylo. Galar.4
3,4
4 y Ar y dydd y delo efe i ddestruwio yr holl Phil- ySal.57,
istiad [y daw efe] i ddinistrio Tyrus a Sidon a phob 13
cynorthwy arall [iddynt:] o blegit yr Arglwydd a Dat.19,
ddinistria y Philistiaid gweddill ynys Caphtor. 18
Gen.15,
18
5 Moelni a ddaeth ar Azah, gostegwyd Ascalon gyd
a'r rhan arall oi dyffrynnoedd hwynt: pa hyd yr ym-
rwygi di?
6 z O cleddyf yr Arglwydd, pa hyd ni lonyddi? zDeut.
dychwel i'th wain, gorphywys di, a thaw di a sôn. 32,41
Esa.16,
11
7 a Pa fodd y llonydda efe, gan i'r Arglwydd ei
orchymyn ef, ai osod ef yno yn erbyn Ascalon, ac yn a1Sam.3
erbyn glann y môr? 12
Mica 6,9

## PEN. XLVIII.

*Prophwydoliaeth yn erbyn y Moabiaid, 26 Am eu balchder, a'i creulondeb.*

FEL b hynn y dywed Arglwydd y lluoedd Duw b Num.
Israel yn erbyn Moab: Gwae Nebo, canys hi a 32,31
wnaed yn anghyfannedd [ac] a wradwyddwyd, Ciriath- Esa.15,2
aim a ennillwyd, Misgab a wradwyddwyd ac a ddych- Num.21,
rynnwyd. 20
2 c Nid ymffrostia Moab mwy o Hesbon, hwynt a c1Cor.1,
ddychymmygasant ddrwg i'w herbyn hi [gan ddyw- 29
edyd:] Deuwch, dinistriwn hi i lawr, fel na byddo yn Esa.25,
genhedlaeth, tithe O Madmena a dorrir i lawr, [a'r] 10
cleddyf a'th erlid ti.
3 Llef yn gweiddi [a glywir] o Horonaim: anrhaith,
a dinistr mawr [a ddaw arnynt.]
4 Moab a ddestruwiwyd, gwaeddodd ei rhai bych-
ain hi.
5 d Canys wrth riw Luith y galarus a aiff i fynu dEsa.15,
mewn wylofain, ac yng-oriwared Horonaim y gelynn- 5
ion a glywsant waedd dinistr. Dat.18,9
6 Ffoiwch chwi ymmaith, achubwch eich einioes: a
byddwch chwi fel y grug yn yr anialwch.
7 e O herwydd i ti ymddyried yn dy weithredoedd eSal.52,7
a'th dryssorau dy hun, tithe a ddelir: Chamos hefyd a 115,8
a aiff allan mewn caethiwed, ai offeiriaid, yng hyd ai Barn.11,
dywysogion. 24
Esa.2,20
8 A'r anrheithiwr a ddaw i bob dinas, ac ni ddiangc
dinas, eithr derfydd am y dyffrynn, a'r gwastad a
ddifwynir: megis y dywedodd yr Arglwydd.
9 f Rhoddwch adenydd i Moab, canys gan ehedec fSal.55,6
yr eheda hi: ai dinasoedd hi a fyddant ang-hyfanedd
heb bresswylydd ynddynt.
10 g Melldigedic yw yr hwn a wnelo waith yr Ar- g1Sam.
glwydd yn dwyllodrus, a melldigedic yw yr hwn a 13,3,9
attalio ei gleddyf oddi wrth waed.
11 h Moab a fu esmwyth arni er ei heuengctid, ac hi a hAmos6,
orphywysodd ar ei gwaddod, ac ni thywalltwyd hi o 1
lestr i lestr, sef nid aeth hi mewn caethiwed: am hynny Sal.73,4
y safodd ei blâs hi arni, ac ni newidiodd ei harogl.
12 Am hynny wele y dyddiau yn dyfod medd yr
Arglwydd pan anfonwyf fud-wŷr, y rhai ai mudant hi,
ac a waghânt ei llestri hi, ac a ddrylliant ei chos-
trelau.
13 i Yna y cywilyddia Moab o blegit Chamos, fel y iEsa.2,20
cywilyddiodd tŷ Israel o blegit Bethel eu hyder a 15,1
hwynt. 1Bren.12
28
14 Pa ham y dywedwch chwi? Cedyrn ydym ni, a
rhyfel-wŷr nerthol?

Ex. 15.4 15 j Moab a anrheithiwyd, ai dinasoedd hi a dderch-
Esa. 34, afasant [yn fflam,] ai dewisol wŷr ieuaingc a ddescyn-
7 nasant i'r lladdfa, medd y Brenin ai enw yn Arglwydd
y lluoedd.
k Mal.3,5 16 k Agos yw dinistr Moab i ddyfod: ai dialedd hi
sydd yn bryssio yn ffest.
l Dat. 18, 17 l Alaethwch chwi drosti hi y rhai ydych oi ham-
9, 18 Gen. 6,4 gylch, a phawb a'r a edwyn ei henw hi dywedwch,
Ezec.19, Pa fodd y drylliwyd y ffon grêf, a'r wialen hardd?
11 m Esa 47 18 m O bresswyl-ferch Dibon, descyn di o'th ogon-
1 iant, ac eistedd mewn syched: canys anrheithi-wr
Num.21, Moab a ddaw i'th erbyn, ac a ddinistria dy amddeffyn-
13, 14 feudd.
n 1Sam. 4 19 n Preswyl-ferch Aroer, saf di ar y ffordd, a gwilia,
13 Sal. 46,8 gofyn di'r hwn a fyddo yn ffoi, a dywet wrth yr hon
a ddiango, Beth a ddarfu [i'th dinasoedd?]
o Esa. 16, 20 o Gwradwyddwyd Moab, canys hi a ddinistriwyd:
7 udwch a gwaeddwch, yspyswch chwi yn Arnon an-
rheithio Moab.
21 A barn a ddaw ar y tir gwastad, ar Holon, ac
Iahaza, ac ar Mephaath,
22 Ar Dibon hefyd, ac ar Nebo, ac ar Beth Dib-
lathaim,
23 Ac ar Ciriathaim, ac ar Beth-gamul, ac ar Beth
Maon,
24 Ac ar Carioth, ac ar Bozra, ac ar holl ddinasoedd
gwlad Moab ym mhell, ac yn agos.
p Sal. 75, 25 p Corn Moab a dorwyd, ai braich hi a ddrylliwyd
4 Iob 22, 9 medd yr Arglwydd.
q Act.9,4 26 q Meddwwch hi o blegit hi a ymfawrygodd yn
Esa. 19, erbyn yr Arglwydd, ie Moab a ymdrybaeddodd yn ei
14 chwdredd, am hyny y bydd hi hefyd yn watwargerdd.
r Sal.22,7 27 r Ac oni bu Israel yn watwargerdd i ti, fel pes
cawsid ef ym mysc lladron? canys pan sonniech di
am dano yr ymgyffroi.
28 Trigolion Moab gadewch y dinasoedd, ac arhos-
wch chwi yn y graig, a byddwch megis colomen yr
hon a nytha ar fin eithaf y twll.
s Esa. 16, 29 s Nyni a glywsom falchder Moab [y mae hi] yn
6 falch iawn: ei balchder ai thraha, ai hymchwydd, ac
uchder ei chalon [a glywsom.]
t Seph. 2, 30 t Myfi a adwen ei llid hi medd yr Arglwydd, ac
8. Sal 7, 15 nid yw iniawn: ei chelwyddau hi ni wnaethant inion-
deb.
u Esa.16, 31 u Am hynny yr udafi dros Moab, ac y gwaeddaf
7 tros Moab ei gyd: [fyng-halon] a riddfana dros wŷr
Cir hares.
v Dat. 14 32 v Myfi a wylaf drosot ti gwin-wydden Sabamah
15, 18 fel yr wylwyd dros Iezer, dy gangau a aethant dros y
môr, hyd fôr Iezer y daethant: yr anrheithi-wr a
ruthrodd ar dy ffrwythydd haf, ac ar dy gynhaiaf
gwin.
w Dat.18 33 w Yna y dygir ymmaith y llawenydd, a'r digrif-
9, 10 wch o'r dolydd, ac o wlad Moab, ac mi a wnaf i'r gwin
ddarfod o'r cafnau, ni sethrir [y grawn-win] drwy
floddest, eu bloddest ni bydd mwy.
34 O herwydd y floedd [yr hon a glywir] o Hesbon
hyd Eleale, y llefant hyd Iahaz, [ac] o Zoar hyd Ho-
ronaim [fel] anner dair blwydd: canys dyfroedd Nim-
rim fyddant diysbydd.
35 Mi a wnaf hefyd medd yr Arglwydd i Moab
beidio a phoeth-offrymmu mewn uchelfeudd, ac ag
x Esa. 15, arogl-darthu i'w duwiau.
7 Diar.11, 36 x Am hynny y lleisia fyng-halon am Moab fel
4 pibellau, ac am wŷr Cir-hares y lleisia fyng-halon fel
Mat. 19, 29 pibellau: canys y golud yr hwn a gasclasant a ddinistr.

37 O blegit pob penn a eillir, a phob barf a gwttogir,
ar bob llaw [y bydd] rhwygiadau, ac am y lwynau
sach-liain.
38 Ar holl bennau tai Moab ai heolydd oll [y bydd]
alaeth: o blegit myfi a dorraf Moab fel llestr heb hoff-
der iddo, medd yr Arglwydd.
39 y Hwynt a udant [gan ddywedyd] Pa fodd y din- y Dat.18,
istrwyd hi? Pa fodd y trodd Moab [ei] gwarr, hi a 16, 17
gywilyddiwyd: felly Moab a fydd yn watwargerdd,
ac yn ddychryn i bawb oi hamgylch.
40 z Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele [y gelyn] z Deut.
a eheda fel eryr, ac a leda ei adenydd dros Moab. 28, 49 Hos. 8,1
41 b Y dinasoedd a orescynnir, a'r amddeffynfeydd a Hab. 1,8
ennillir, a chalon cedyrn Moab fydd y dydd hwnnw Ezec. 17, 3
fel calon gwraig wrth escor. Sal.18,10
42 c A Moab a ddifethir o fod yn bobl, am iddi hi b Esa. 21,
ymfawrygu yn erbyn yr Arglwydd. 3 Mica 4,9,
43 Braw, a ffos, a magl [a ddeuant] arnat ti trigiannol 10
Moab medd yr Arglwydd. c Sal. 88 4
44 d Y neb a ffy rhag y braw a syrth yn y ffos, a'r Mat. 7, 9
hwn a gyfyd o'r ffos a ddelir yn y fagl, canys myfi a d Amos 5 19
ddygaf arni [sef] ar Moab flwyddyn eu hymweliad 1Bren 19
hwynt medd yr Arglwydd. 17
45 e Yng-hyscod Hesbon y saf y rhai a ffoant rhac e Preg.7,
cadernid, canys tân a â allan o Hesbon, a fflam o ganol 18 Num. 21,
Sion, ac a yssa ystlys Moab, a choryn y meibion ter- 28
fyscar.
46 Gwae di Moab. darfu am bobl Chamos, canys
cymmerwyd ymaith dy feibion mewn alltudaeth, a'th
ferched mewn caethiwed.
47 f Etto myfi a ddychwelaf gaethiwed Moab yn y f Dat. 21,
dyddiau diwethaf, medd yr Arglwydd: Hyd yma [y 14 Sal. 72 9
traethwyd [am] farn Moab. Mica 2,2

## PEN. XLIX.

*Prophwydoliaeth yn erbyn yr Ammoniaid, 7 A'r Edomiaid, 23 Damascus, 28 Cedar, 34 Ac Elam.*

AM g feibion Ammon fel hyn y dywed yr Argl- g Barn.
wydd, Onid oes feibion i Israel? onid oes etifedd 11, 24
iddo ef? pa ham y mae eu brenin hwynt yn etifeddu Num.32,
Gad? ai bobl yn aros yn ei ddinasoedd ef? 34 Amos 1,
2 h Am hynny wele y dyddiau yn dyfod medd yr 13 h Dat.11,
Arglwydd pan wnelwyf glywed trwst rhyfel wrth 15
Rabbath meibion Ammon, ac hi a fydd yn garnedd Rhuf.11,
anghyfanneddol, ai phentrefydd hi a loscir â thân, ac 26
Israel a orescyn ei orescynwyr medd yr Arglwydd.
3 i Uda di Hesbon am anrheithio Ai, gwaeddwch i Dat. 18,
chwi pentrefydd Rabbath, ymwregyswch mewn sach- 19 Esa. 2,21
liain, alaethwch a gwthiwch o amgylch y muroedd, o
blegit eu brenin a aiff mewn caethiwed, ei offeiriaid, ai
bennaethiaid hefyd.
4 j Pa ham yr ymffrosti di yn y dyffrynnoedd? llif- j Diar.11,
odd dy ddyffryn di ymaith O ferch wrthnysig, ymddyr- 4 Sal. 52,7
ied y mae hi yn ei thryssorau [gan ddywedyd:] Pwy a
ddaw attafi?
5 Wele myfi a ddygaf arswyd arnat ti (medd Argl-
wydd Dduw y lluoedd) o'th holl amgylchoedd: a
chwi a wascerir bob un o'i flaen, ac ni [bydd] a gasclo
y gwascaredic.
6 Ac wedi hynny myfi a ddychwelaf gaethiwed
meibion Ammon, medd yr Arglwydd.
7 k Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd am Edom: k Rhuf 1,
Onid [oes] doethineb mwy yn Theman, a fethodd 23
cyngor gan y rhai deallgar? a lygrwyd eu doethineb
hwynt?
8 l Ffoiwch troiwch eich cefnau, ewch yn isel i drigo l Hos. 9,9
presswyl-wŷr Dedan: canys mi a ddygaf ddinystr Mal. 1,3

Edom arno ef, [ac] amser ei ofwy.
9 Pe deue y cynhaiaf-wŷr gwin attat ti, oni wedd-
lllent hwy ganghennau grawn? pe [deue] lladron liw
nôs, oni lygrent eu digon?
mMal. 1, 10 [m] Ond myfi a ddinoethais Esau [ac] a ddadcudd-
3 Esa. 45.3 iais ei guddfeudd ef, fel na allo lechu: ei hâd ef a
Sal.37,36 ddifethwyd, ai frodur ai gymmydogion, ac ni bydd
efe [i ddywedyd,]
nIona 4, 11 [n] Gat ti dy ymddifaid, myfi ai cadwaf hwynt yn
11 fyw: ac ymddiriededd dy weddwon i mi.
Gen. 21, 17 12 [o] Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele y
Sal. 68, 5 rhai nid oedd gymmwys iddynt yfed o'r phiol, gan
oHos.6,6 Deut.19, yfed a yfasant, a ddiengi dithe debygi di? na ddiengi:
6 eithr dithe a yfi hefyd.
pMal.1,4 13 [p] Canys i mi fy hun y tyngais medd yr Arglwydd,
Esa. 63,1 mai yn anghyfannedd-le, yn warth, yn anialwch, ac
yn felldith y bydd Bozrah: ai holl ddinasoedd hi a
fyddant yn ddiffaethwch tragywyddol.
14 Myfi a glywais chwedl oddi wrth yr Arglwydd, sef
bod cennad ym mysc y cenhedloedd [yn dywedyd,]
Ymgesglwch chwi, a deuwch yn ei herbyn hi, a chyfod-
wch i'r rhyfel.
15 O herwydd wele myfi a'th roddaf di yn fychan ym
mysc y cenhedloedd, ac yn wael ym mhlith y dynion.
qEx.15,9 16 [q] Dy ryfyg a'th dwyllodd, a balchder dy galon, ti
Mal. 1,4 Obad. 4 yr hon ydwyt yn aros yng-hromlechydd y graig, ac
Amos9,2 3 yn meddiannu uchelder y brynn: er i ti osod dy nŷth
cynn uched a'r eryr, myfi a wnaf i ti ddescyn oddi yno
medd yr Arglwydd.
17 Edom hefyd a fydd yn anghyfannedd, pawb a'r a
elo heibio iddi a synnant, ac a ryfeddant am ei holl
ddialeddau hi.
rGen.19, 24 18 [r] Fel dinistr Sodoma, a Gomorah ai chymydog-
Deut.29, esau [y bydd] hi medd yr Arglwydd: ni phreswylia
23 neb yno ac, nid erys mab dŷn ynddi.
Hos. 11 8 19 [s] Wele fel llew y daw [yr anrheithiwr] i fynu
sDat.5,5 Sal. 45, 3 oddi wrth dderchafiad yr Iorddonen i'r drigfa gadarn,
Zec. 11,3 Dat.18,8 eithr mi a wnaf iddo ef redeg yn ddisymmwth oddi
a 17,14 wrthi hi, a'r neb a ddewiswyd a osodafi arni hi: canys
Sal. 76,7 Dat.6,15 pwy sydd fel mau fi? a phwy a esid i mi amser? a
phwy [yw] y bugail hwnnw a saif o'm blaen i?
t1Cor. 1, 20 [t] Am hynny gwrandewch chwi gyngor yr Ar-
27 glwydd yr hwn a ymgynghorodd efe yn erbyn Edom,
ai fwriadau y rhai a fwriadodd efe yn erbyn presswyl-
wŷr Theman: [celwyddoc ydwyf] onid y rhai lleiaf o'r
praidd ai lluscant hwynt, [ac] oni wna efe yn anghyf-
annedd eu trig-leodd gyd â hwynt.
uDat.11, 21 [u] Gan lef eu cwymp hwynt y cryn y ddaiar, llais
13 a 18, 10 eu gwaedd hwynt a glywir yn y môr côch.
22 Wele fel eryr y daw [y gelyn] i fynu, ac efe a
eheda, ac a leda ei adenydd ar Bozrah: yna y bydd
calon cedyrn Edom y dydd hwnnw fel calon gwraig
wrth esgor,
vEsa. 57, 23 [v] Ar Ddamascus, Hemath, ac Arphad y daw gwarth,
20 o herwydd hwynt a glywsant chwedl drwg, llesmeir-
iasant [fel un] ofnus ar y môr heb fedru gorphywys.
wEsa.13, 24 [w] Damascus a lesceiddia, ac a ymdry i ffoi, ond
8 Sal. 48, 6 dychryn ai goddiwedd [hi,] gwascfa a phoenau ai deil
hi fel gwraig yn escor.
xDat.17, 25 [x] Pa ham na adewir [yn llonydd] y ddinas glod-
16 Sal.37,36 fawr, caer fy llawenydd?
Dan. 4, 30 26 [y] Am hynny ei gwŷr ieuaingc a syrthiant yn ei
yDat.19, 18 heolydd: a'r holl ryfel-wŷr a ddifethir y dydd hwnnw
zAmos1, medd Arglwydd y lluoedd.
4 1Bren.15 27 [z] Ac mi a gynneuaf dân ym muroedd Damascus:
18, 20 ac efe a ddifa lysoedd Benhadad.

28 [a] Am cedar, ac am deyrnas Hazer y rhai a ddinistr- aGen.25, 13
iodd Nabuchodonosor brenin Babilon, fel hyn y Barn 4,2
dywed yr Arglwydd: cyfodwch, ac ewch chwi i fynu a 6, 3
yn erbyn Cedar, a difethwch feibion y dwyrain. Iob 1, 3
29 [b] Eu lluestai ai defaid a gymmerant ymmaith, ei bEsa. 54, 2
llenni, ai holl lestri, ai camelod a ddygant gyd a Iob 1, 3
hwynt, a hwynt a floeddiant arnynt [gan ddywedyd,]
Ofn [sydd] o amgylch.
30 Ffoiwch, ciliwch chwi ym mhell, ewch yn isel i
drigo preswyl-wŷr Hazor medd yr Arglwydd: o
herwydd Nabuchodonosor brenin Babilon a gymmer-
odd gyngor, ac a fwriadodd fwriad yn eich erbyn
chwi.
31 [c] Cyfodwch chwi, ac ewch i fynu at y genhedlaeth cAmos 6, 1
oludog yr hon sydd yn trigo yn ddifraw medd yr Barn.18,
Arglwydd heb ddorau na barrau iddi, eu hunain y 27
maent yn trigo. Mica7,14
32 [d] Ai camelod a fyddant yn anrhaith, ai minteioedd dEsa.6,2
o anifeiliaid yn yspail, ac mi ai gwascaraf hwynt tua Ezec. 5, 10
phob gwynt, ac i'r conglau eithaf: ac myfi a ddygaf o Sal.50,22
bob ystlys iddo eu dinistr hwynt medd yr Arglwydd.
33 Hazor hefyd fydd yn drigfa dreigiau, [ac] yn ang-
hyfannedd byth: ni phresswylia neb yno, ac nid erys
mab dŷn ynddi.
34 [e] [Dymma] air yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at eGen.10,
Ieremi y prophwyd am Elam yn nechreuad teyrnasiad 22
Sedecia brenin Iuda, gan ddywedyd,
35 [f] Fel hynn y dywed Arglwydd y lluoedd, Wele fi fSal. 18.
yn torri bŵa Elam eu cadernid pennaf hwynt. 34 a 46, 9
36 [g] Ac mi a ddygaf ar Elam bedwar gwynt o bedwar gDan. 7,
eithafoedd y nefoedd, ac mi ai gwascaraf hwynt gyd 2
a'r holl wyntoedd hynn: ac ni bydd cenhedlaeth, at
yr hon nî ddelo [rhai] o gyrwydraid Elam.
37 Canys mi a yraf ar Elam ofn eu gelynion, a'r rhai
a geisiant eu henioes, ac myfi a ddygaf arnynt af-
lwydd, sef angerdd fy nigofaint medd yr Arglwydd, ac
mi a anfonaf y cleddyf ar eu hol hwynt, nes i mi eu
difetha hwynt.
38 [h] Ac mi a osodaf fy nheyrn-gader yn Elam, ac mi hDan. 7,
a ddifethaf oddi yno y brenin a'r tywysogion medd yr 9, 11
Arglwydd.
39 [i] Ac o'r diwedd myfi a ddychwelaf gaethiwed Elam iEsa. 2, 2
medd yr Arglwydd. Act. 1, 9

## PEN. L.

*Dinistr Babilon: a rhydd-did Israel.*

Y [j] GAIR yr hwn a lafarodd yr Arglwydd trwy jDat. 17,
law Ieremi y prophwyd am Babilon [ac] am 5
wlad y Caldeaid.
2 [k] Mynegwch ym mysc y cenhedloedd, a chyhoedd- kDat 14,
wch chwi, a chodwch arwydd, cyhoeddwch, na chel- 8 2Thes. 2,
wch, dywedwch, Gorescynwyd Babilon, gwradwydd- 8 2Thes. 2,
wyd Bel, drylliwyd Merodach, ei heulynnod a gywil- 9, 10
yddiwyd ai delwau a ddrylliwyd.
3 [l] Canys o'r gogledd y daw cenhedlaeth yn ei lEsa. 12,
herbyn hi yr hon a esid ei gwlad hi yn anghyfannedd, 17 Dat. 18,
fel na byddo preswylydd ynddi: yn ddyn ac yn anifail 12
y mudant, ac y ciliant ymmaith.
4 [m] Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser hwnnw mHos. 3,
medd yr Arglwydd, meibion Israel a ddeuant, hwynt 5 Zec. 12,
a meibion Iuda yng-hyd, dann gerdded ac wylo yr ant, 10
ac y ceisiant yr Arglwydd eu Duw.
5 Hwynt a ofynant y ffordd i Sion, tu ag yno [y bydd]
eu hwynebau hwynt: Deuwch [meddant,] a glynwch
chwi wrth yr Arglwydd [drwy] gyfammod tragywyddol, n1Pedr 2
[yr hwn] nid anghofir. 25
6 [n] Fy mhobl a fuant [fel] praidd colledic, eu bugeil- Mat. 12, 26

iaid ai gyrasant hwynt ar gyfeiliorn, i'r mynyddoedd
y trosasat hwynt, o'r mynydd yr aethant i'r brynn,
[felly] yr anghofiasant eu gorweddfa.
oSal.14,4 7 [o] Pawb a'r ai cawsant hwynt ai difasant, ai gelynion
Sal 72,11 a ddywedasant, Ni wnaethom ni ar fai, canys hwynt a
a 22, 3, 4 bechasant yn erbyn yr Arglwydd, [yr hwn sydd] drigle
cyfiawnder, sef Arglwydd gobaith eu tadau.
pEsa. 48, 8 [p] Ciliwch chwi o ganol Babilon, ac ewch allan o
20 Dat. 18,4 wlad y Caldeaid: a byddwch chwi fel hyrddod o flaen
y praidd.
qDat.17, 9 [q] O herwydd wele myfi a ddeffroaf, ac a ddygaf i
16 fynu yn erbyn Babilon gynnulleidfa y cenhedloedd
mawrion o dir y gogledd: hwynt a ymdaclant yn ei
herbyn, oddi yno y gorescynnir hi, eu saethau fel
[saethau] cadarn cyfarwydd ni ddychwelant yn ofer.
rDat.19, 10 [r] A Chaldea fydd yn yspail, pawb a'r ai yspeiliant
17 hi a ddigonir medd yr Arglwydd.
sGalar.2 11 [s] Er i chwi fod yn llawen, ac yn hyfryd wrth sathru
16 Dat. 11, fy etifeddiaeth, er i chwi frashâu fel llô [mewn] glas-
12 a 13,7 wellt, a beichio fel teirw,
1Pedr 5, 3 12 [t] Eich mam a gywilyddir yn ddirfawr, a'r hon
tDat. 17, a'ch ymddug a wradwyddir: wele yr eithaf o'r cen-
hedloedd yn anialwch cras-le, ac yn rhos-dir.
uSal 2,12 13 [u] O herwydd digofaint yr Arglwydd ni's preswyl-
ir hi, eithr hi a fydd ei gyd yn anghyfannedd: pawb
a'r a elo heibio i Babilon a synna, ac a ryfedda am ei
holl ddialeddau hi.
vDat.17, 14 [v] Ymdeclwch yn erbyn Babilon o amgylch, holl
16 berchen bwâu saethwch atti, nac arbedwch y saethau,
oblegit hi a bechodd yn erbyn yr Arglwydd.
wDat. 16 15 [w] Bloeddiwch chwi arni hi o amgylch, hi a ym-
10 a 17, 1 rydd, ei sylfaeni hi a syrthiant, ei muroedd a ddinistrir,
a 18, 6 o herwydd dial yr Arglwydd [yw] hynn: dielwch
chwi arni, fel y gwnaeth hi gwnewch iddi.
xDat.18, 16 [x] Torrwch chwi ymaith yr hau-wr oddi wrth
22 Babilon, a'r hwn a ddalio grymman ar amser cynhaiaf:
rhag cleddyf y gorthrym-wr y troant bob un at ei
bobl ei hun, ac y ffoant bob un i'w wlad.
yMat.10, 17 [y] Praidd ar gyfr-goll [yw] Israel, llewod ai gwas-
16 carasant [hwynt:] brenin Assyria yn gyntaf, ai hyssodd
hwynt, a'r Nabuchodonosor yma brenin Babilon yn
olaf ai diescyrnodd hwynt.
18 Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd
Duw Israel: Wele myfi a ymwelaf â brenin Babilon,
ac ai wlad ef, fel yr ymwelais â brenin Assyria.
zRhuf 11 19 [z] Ac mi a ddychwelaf Israel i'w drigfa, ac efe a
26 bawr [ar] Carmel, a Basan, ac ar fynydd Ephraim, a
Gilead y digonir ei enaid ef.
aRhuf.9, 20 [a] Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser hwnnw
27 medd yr Arglwydd, y ceisir anwiredd Israel, ac ni's
[gwelir] ef, a phechodau Iuda, ond ni's ceir hwynt:
canys myfi a faddeuaf i'r hwn a weddilliwyf.
21 Dos di i fynu yn erbyn gwlad y gwrthryfel-wyr,
[ie] yn ei herbyn hi, ac ymwel di ai thrigolion: an-
rheithia di a difroda ar eu hol hwynt medd yr Argl-
wydd, a gwna di yn ol yr hynn oll a orchymynnais i ti.
bDat.18, 22 Trwst rhyfel [sydd] yn y wlad: a dinystr mawr.
16 23 [b] Pa fodd y drylliwyd, ac y torrwyd gordd yr holl
cDat 18, dir? pa fodd yr aeth Babilon yn ddiffaethwch ym
8 mysc y cenhedloedd?
Luc 21,35 1Thes.5, 24 [c] Myfi a osodais fagl i ti, a thithe Babilon a ddal-
3 Dan 5,30 iwyd, ac heb wybod o honot, ti a gafwyd, ac a ddal-
31 iwyd, o herwydd yn erbyn yr Arglwydd yr ymryson-
dDan. 2, 34 aist.
2Thes. 2, 25 [d] Yr Arglwydd a agorodd ei dryssor, ac a ddug
8 Dat. 15,1 allan arfau ei ddigofaint: canys gwaith Arglwydd
Dduw y lluoedd [yw] hynn yng-wlad y Caldeaid.
26 [e] Deuwch chwi yn ei herbyn o'r cwrr eithaf, eDat.18,
agorwch ei yscuboriau hi, dyrnwch hi fel dâs [ŷd,] a 11
dinistriwch hi, na fydded gweddill iddi.
27 [f] Lleddwch ei holl gedyrn hi, descynnant hwy i'r fEsa.34,7
lladdfa, gwae hwynt, canys eu dydd hwynt a ddaeth Dat. 19, 17, 18
[ac] amser eu hymweliad. Sal.37,13
28 [g] Llef y rhai a ffoant, ac a ddiangant o wlad Babi- gDat.19, 1, 6
lon [a glywir,] i ddangos yn Sion ddial yr Arglwydd Sal.79,8
ein Duw ni, [a] dial ei Deml ef. Luc 18,7 Dat. 18,
29 [h] Gelwch chwi laweroedd yn erbyn Babilon, y 24
perchen bwâu oll gwerssyllwch chwi wrthi hi o am- hGalar.3 64
gylch, na chaffed neb ddiangc o honi, telwch iddi hi Act. 9, 4
yn ol ei gweithredoedd, ac yn ol yr hyn oll a'r a Dat.13,6
wnaeth hi gwnewch iddi: o herwydd hi a falchiodd yn
erbyn yr Arglwydd, [sef] yn erbyn Sanct Israel.
30 Am hynny ei gwŷr ieuangc a syrthiant yn ei
heolydd hi: ai holl ryfel-wyr a ddifethir y dydd hwnnw
medd yr Arglwydd.
31 Wele fi [yn dyfod] attat ti O falch medd Arglw-
ydd Dduw y lluoedd, o herwydd dy ddydd a ddaw
[sef] yr amser yr ymwelwyf â thi.
32 [i] A'r balch a dramgwydda, ac a syrth, ac ni [bydd] iDat. 18,
ai cyfodo: ac mi a gynneuaf dân yn ei ddinasoedd, ac 21
efe a ddifa ei holl amgylchoedd ef a 18, 18 a 19, 5
33 [j] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, meibion jDat. 14,
Israel, a meibion Iuda a orthrymmwyd yng-hyd, a 17
phawb a'r ai caethiwodd hwynt ai daliasant, ac a wrth-
odasant eu gollwng hwynt ymmaith.
34 [k] Eu rhyddhau-wr [sydd] gryf, Arglwydd y llu- kDat.18,
oedd [yw] ei enw, efe a ddyru farn ar eu ymryson 8
hwynt i beri llonydd i'r wlad, a dychryn i bresswylwyr 2Thes. 1 6, 7
Babilon.
35 Cleddyf a ddaw ar y Caldeaid, medd yr Arglw-
ydd, ac ar drigolion Babilon, ac ar ei thywysogion, ac
ar ei doethion.
36 Cleddyf [a ddaw] ar y dewiniaid fel yr ynfydant:
a'r cleddyf [a ddaw] ar ei chedyrn fel y dychrynant.
37 Cleddyf [a ddaw] ar ei meirch, ac ar ei cherbydau,
ac ar yr holl weryn y rhai ydynt yn ei chanol, fel y
byddant fel y gwragedd, cleddyf [a ddaw] ar ei thrys-
sorau, a hwynt a yspeilir.
38 [l] Sychder a ddaw ar ei dyfroedd hi fel y sychant: lDat. 16,
o herwydd gwlad [yn addoli] delwau [yw] hi, ac 12
mewn eulynnod y maent yn ymlawenychu. Dan. 5, 1 Dat. 13,
39 [m] Am hynny anifeiliaid gwylltion a chathod a 14
arhosant, a chywion yr estrys a drigant ynddi, ac ni mDat.18
phresswylir hi mwyach byth, ac nis cyfanneddir hi o 2
genhedlaeth i genhedlaeth.
40 [n] Fel yr ymchwelodd Duw Sodoma, a Gomora ai n2Pedr 2
chymydogesau medd yr Arglwydd, [felly] ni phres- 6
swylia neb yno, ac ni erys mab dyn ynddi.
41 Wele bobl yn dyfod o'r gogledd, a chenhedlaeth
fawr, a brenhinoedd lawer a godir o eithafoedd y
ddaiar.
42 [o] Bwa a tharian a ddaliant, creulon ydynt ac ni oSal.137,
thosturiant, eu llef fel môr a rua, ac ar feirch y march- 8 Esa.13,17
ogant yn daclus i'th erbyn di merch Babilon fel 18
rhyfel-wŷr. Dat. 16,6
43 [p] Brenin Babilon a glywodd son am danynt, ai pDan. 5,
ddwylo ef a lescauasant: gwascfa ai daliodd ef, [a] 25 Esa. 13,7
gwewyr fel gwraig wrth escor.
44 [q] Wele fel llew y daw [yr anrheithi-wr] i fynu qEsa. 51,
oddiwrth dderchafiad yr Iorddonen i'r drigfa gadarn: 11
eithr mi a wnaf iddo ef redeg yn ddisymmwth oddi Dat.18,6
wrthi hi, a'r neb a ddewiswyd a osodaf arni hi: canys

pwy [sydd] fel mau fi? a phwy a esyd i mi amser? a phwy [yw] y bugail hwnnw a saif o'm blaen i?

45 Am hynny gwrandewch chwi gynghor yr Arglwydd yr hwn a ymgynghorodd efe yn erbyn Babilon, ai fwriadau y rhai a fwriadodd efe yn erbyn gwlad y Caldeaid [celwyddoc ydwyf] onid y rhai lleiaf o'r praidd ai llusant hwynt, [ac] oni wna efe yn anghyfannedd eu trigleoedd gyd â hwynt.

r Dat. 11, 18 46 r Gan drwst gorescynniad Babilon y cryn y ddaiar, ac y clywir gwaedd ym mysc y cenhedloedd.

## PEN. LI.

*Dinistr Babilon. 59 Ieremi yn rheddi ei lyfr i Sariah.*

s Sal. 83, 13 Zec. 2, 8 FEL s hynn y dywed yr Arglwydd, Wele myfi a godaf wynt dinistriol yn erbyn Babilon, ac yn erbyn [ei] thrigolion y rhai a godant [eu] calon yn fy erbyn i.

2 Ac mi a anfonaf i Babilon nith-wyr, a hwynt ai nithiant hi, ac a waghant ei thir hi, o herwydd hwynt a fyddant yn ei herbyn hi o amgylch ar y dydd blinderoc.

t Iago 2,13 3 t Wrth y perchen bwâu, ac wrth yr hwn a ymdderchafo mewn llurig [y dywed yr Arglwydd,] na chymerwch drugaredd ar ei gwyr ieuangc, difrodwch chwi ei holl lu hi.

4 Felly y rhai lladdedig a syrthiant yng-wlad y Caldeaid, a'r rhai archolledig yn ei heolydd hi.

5 Canys Israel nid yw weddw, nac Iuda oi Duw [sef] o Arglwydd y lluoedd: er bod eu gwlad hwynt yn llawn o gamwedd yn erbyn Sanct yr Israel.

u Mat. 16, 23 Dat. 18,4 Esa. 59,18 Dat. 18,6 6 u Ffoiwch chwi o ganol Babilon, ac achubwch bawb ei enioes ei hun, na adewch chwi eich difetha yn ei hanwiredd hi, o blegit amser dial [yw] hwn i'r Arglwydd, efe a dâl y pwyth iddi hi.

v Dat. 17, 4 7 v Phiol aur [oedd] Babilon yn llaw yr Arglwydd, yn meddwi pob gwlad: yr holl genhedloedd a yfasant oi gwin hi, am hynny y cenhedloedd a ynfydasant.

w 1 Thes. 5, 3 Esa. 21,9 Dat. 18,9 8 w Yn ddisymmwth y syrthiodd Babilon, ac y drylliwyd hi: udwch chwi drosti, cymmerwch driacl iw harcholl hi, i edrych a iachâ hi.

x Dat. 18, 10 Esa. 13, 14 9 x Nyni a iachausom Babilon [meddant hwy,] ond nid aeth hi yn iach [ddim,] gedwch chwi hi ymmaith, ac awn bawb iw wlad: canys ei barn a gyrhaeddodd i'r nefoedd, ac a dderchafwyd hyd yr wybrau.

y Sal. 37,6 Mica 7,9 Dat. 15,3 10 y Yr Arglwydd a ddug allan ein cyfiawnder ni: deuwch a thraethwn ni yn Sion waith yr Arglwydd ein Duw ni.

z Ezra 1,1 11 z Gloiwwch y saethau, caselwch chwi y tariannau, yr Arglwydd a gyffru yspryd brenhinoedd Media, o blegit y mae ei fryd ef yn erbyn Babilon iw dinistrio hi: canys dial yr Arglwydd yw hynn, [a] dial ei Deml ef.

a Sal. 50,2 12 a Derchefwch chwi faner ar furoedd Babilon, cadarnhewch y wiliadwriaeth, gosodwch i fynu y gwil-wŷr, darperwch chwi gynllwyn-wŷr, canys yr Arglwydd a fwriadodd, ac efe a wna hefyd yr hyn a lefarodd am drigolion Babilon.

b Dat. 17, 1 Jer. 15, 13 b Tydi yr hon ydwyt yn aros ar ddyfroedd lawer, yn aml dy dryssorau, dy ddiwedd di a ddaeth [sef] mesur dy gybydd-dod.

c Nah. 3, 15 Sal. 74, 4 14 c Arglwydd y lluoedd a dyngodd iddo ei hun [gan ddywedyd,] Diau i'th lenwir di o ddynion megis y mywion ascelloc [o nifer:] a hwynt a ganant floddest i'th erbyn.

15 Yr hwn a wnaeth y ddaiar drwy ei nerth [ac] a sicrhaodd y byd trwy ei ddoethineb, ac a danodd y nefoedd drwy ei ddeall.

16 d Pan roddo efe ei lef y terfysca y dyfroedd yn y nefoedd, ac y mae efe yn codi y niwloedd o eithaf y ddaiar, ac efe sydd yn gwneuthur y mellt yn law, ac yn dwyn y gwynt allan oi dryssorau. d Sal. 135, 7

17 Ynfyd yw pob dyn o wybodaeth, gwradwyddwyd pob toddydd o achos y ddelw: canys celwyddoc [yw] ei doddiad, ac nid oes chwythad ynddynt.

18 Oferedd [ydynt] hwy [a] gwaith cyfeiliorni: yn amser eu hymweliad y difethir hwynt.

19 e Nid fel y rhai hynn, eithr lluni-ŵr y cwbl oll yw rhan Iacob: ac [Israel yw] gwialen ei etifeddiaeth ef, Arglwydd y lluoedd [yw] ei enw. e Sal. 115, 3 a 135, 6

20 f Ti ydwyt forthwyl i mi, [ac] arfau rhyfel, â thi y drylliafi genhedloedd, ac â thi y dinistriaf deyrnasoedd, f Esa. 10,5 Ioan 19, 10

21 g A thi hefyd y gwascaraf y march a'r march-ŵr, ac â thi y drylliaf y cerbyd ai farchog. g 2 Sam. 10, 18

22 h A thi y drylliafi ŵr a gwraig, ac â thi y drylliaf hên ac ieuangc, ac â thi y drylliaf y gŵr ieuangc a'r forwyn. h Ezec. 9, 6,7 2 Cron. 36, 17

23 A thi y drylliafi y bugail ai braidd, ac â thi y drylliaf yr ardd-ŵr ai iau ŷchen, ac â thi y drylliaf y tywysogion a'r pennaethiaid.

24 i Ac mi a dalaf yn eich golwg chwi i Babilon, ac i holl bresswyl-wŷr Caldea eu holl ddrygioni hwynt yr hyn a wnaethant hwy yn Sion medd yr Arglwydd. i Amos 1, 3,6,9,13 Dat. 18, 21 Luc 18,7

25 j Wele fi [yn dyfod] i'th erbyn di O fynydd dinistriol, yr hwn [wyt] yn dinistrio yr holl dîr medd yr Arglwydd, ac myfi a estynnaf fy llaw arnat, ac a'th dreiglaf di i lawr or creigiau, ac a'th roddaf di yn fynydd llosc: j Zec. 4,7 Dat. 17,3 4,5 a 13, 14 Esa. 14,13 15 Dat. 17, 16

26 Fel na chymmerant o honot ti faen congl, na sylfaen: o blegid diffaethwch tragwyddol a fyddi di medd yr Arglwydd.

27 Derchefwch chwi faner yn y tir, lleisiwch udcorn ym mysg y cenhedloedd, darperwch chwi y cenhedloedd yn ei herbyn hi, gelwch chwi deyrnasoedd Ararat, Minni, ac Ascanez yn ei herbyn hi: gosodwch dywysog arni, gwnewch chwi i feirch ddyfod i fynu cynn amled a'r mywion ascelloc.

28 Darperwch chwi y cenhedloedd yn ei herbyn hi, sef brenhinoedd Media a'i thywysogion, ai holl bennaethiaid hi, a'r holl wlâd, [yr hon sydd tann] ei lywodraeth ef.

29 l Y ddaiar hefyd a gryna ac a ofidia pan gyflawner amcan yr Arglwydd yn erbyn Babilon, am roddi gwlâd Babilon yn anghyfanedd heb drigiannol [ynddi.] l Esa. 13,8 a 14, 17

30 m Cedyrn Babilon a beidiasant ag ymladd, ac y maent hwy yn aros o fewn yr amddeffynfeudd: pallodd eu cadernid hwynt, aethant yn wrageddos, ei hanneddau hi a loscwyd, ai barrau a dorrwyd. m 1 Sam. 14, 11 Sal. 76, 5 Dat. 18 10 Sal. 107, 16 a 146, 18

31 Rhedeg-ŵr, a red i gyfarfodd a rhedeg-ŵr, a chennad i gyfarfod â chennad, i fynegu i frenin Babilon orescyn ei ddinas ef oi chwrr, n Sal. 114, 8 Dat. 19, 18

32 n Ac ennill y rhydau a llosci y llynnoedd â thân, a synnu ar y rhyfel-wŷr. o Dan. 2, 35 Ioel 3, 14 Mica 4,13

33 o Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd Duw Israel, Merch Babilon [sydd] fel llawr dyrnu, amser ei dyrnu hi [a ddaeth:] ac ar fyrder y daw amser cynhauaf iddi. Esa. 63,6 Dat. 14, 15 p Hab. 1, 13 Dat. 17, 6

34 p Nabuchodonosor brenin Babilon a'm hysodd fi, [ac] a'm dinistriodd, efe a'm gosododd fel llestr gwag, efe a'm llyngcodd fel draig, ac a lanwodd ei fol o'm dainteithion, [ac] a'm bwriodd ni allan. Iob 15,20, 25 q Barn. 9, 24 Obad. 10

35 q Y cam a wnaed i mi, ac i'm cnawd [a ddelo] ar Dat 6,10

Babilon medd presswyl-ferch Sion: a'm gwaed i ar
drigolion Caldea medd Ierusalem.
r Dat. 16, 15 36 r Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele
myfi a ddadleuaf dy ddadle di, ac a ddialaf trosot ti:
ac mi a ddiyspyddaf ei môr hi, ac a sychaf ei ffyn-
honnau hi.
37 Yna y bydd Babilon yn garneddau, yn drigfa
dreigiau, yn syndra, ac yn aruthr, heb breswylydd.
38 Cyd-ruant fel llewodd: bloeddiant fel cenawon
llewod.
s Dan. 5, 2 3 39 s Yn eu gwrês hwynt y gosodaf wledd iddynt, ac
1 Sam. 25, 37 mi ai meddwaf hwynt fel y llawenychant, ac y cys-
cant hûn dragywyddol: ac ni ddeffroant medd yr Ar-
glwydd.
t Sal. 49, 14 40 t Myfi ai dygaf hwynt i wared fel ŵyn i'w lladd,
[ac] fel hyrddod a bychod.
u Dat. 18, 10 41 u Pa fodd y gorescynnwyd Sesach? ac yr ennill-
wyd gogoniant yr holl dir? Pa fodd yr aeth Babilon
yn rhyfeddod ym mysc y cenhedloedd?
42 Y môr a dderchafodd tros Babilon: hi a orch-
guddiwyd ag amlder ei donnau ef.
43 Ei dinasoedd hi a aethant yn anghyfanedd, yn
gras-dir, ac yn rhôs: gwlad ni thrig un gŵr ynddi,
ac ni thramwya mab dŷn trwyddi.
v 2 Cron. 36, 7 44 v Ac mi a ymwelaf â Bel yn Babilon, ac mi a
Ezec. 1, 7 dynnaf oi safn ef yr hyn a lyngcodd efe: a'r cenhedl-
Dat. 18, 11, 24 oedd ni ddilifant atto ef mwyach, a mûr Babilon a
syrth,
w Dat. 14, 9, 11 45 w Deuwch chwi allan oi chanol O fy mhobl, ac
achubwch chwi bob un ei enioes, rhac llid digofaint
yr Arglwydd,
x Dat. 14, 15 46 x Ac rhac llwfrhau eich calonnau, ac ofni rhag y
Dan. 5, 30 31 chwedl a glywir yn y wlâd: canys y flwyddyn [hon y
Dat. 12, 7 12 daw] chwedl newydd, ac ar ol hyny chwedl newydd
a 16, 14 y flwyddyn [nesaf,] a thrais yn y wlâd, a llywodraeth-
ŵr ar lywodraeth-ŵr.
47 Am hyny wele y dyddiau yn dyfod pan yr ym-
welwyf â delwau Babilon, ai holl wlâd hi a wradwydd-
ir, ai holl rai lladdedig hi a syrthiant yn ei chanol.
y Dat. 18, 20 a 19, 1, 2, 5 48 y Yna y nefoedd a'r ddaiar a'r hyn oll [sydd]
ynddynt a ganant yn llafar o herwydd Babilon: o
Esa 44, 23 blegit o'r gogledd y daw yr anrheith-wŷr medd yr
Arglwydd.
z Dat. 13, 7 49 z Fel y gwnaeth Babilon i'r rhai lladdedic o Israel
syrthio: felly y Babiloniaid a syrthiant yn lladdedig
drwy yr holl dir.
50 Y rhai a ddiangant gan y cleddyf ewch chwi
ymmaith na sefwch, cofiwch chwi yr Arglwydd o bell
a Sal. 137, 1, 6 a bydded Ierusalem yn eich cof chwi.
Galar. 2, 10 51 a Yr oedd cywilydd arnom pan glywsom ni y cab-
ledd, gwarth a orchguddiodd ein hwynebau ni pan
Sal. 70, 1, 2 a 74, 3, 4 ddaeth yr estroniaid i gyssegr tŷ yr Arglwydd.
52 Am hynny wele y dyddiau yn dyfod medd yr
Arglwydd, pan ymwelwyf ai delwau hwynt: a thrwy
ei holl wlad hi y clwyfus a riddfan.
53 Er i Babilon dderchafu i'r nefoedd, ac er iddi
gadarnhau ei hamddeffynfa yn uchel: [etto] anrheith-
wŷr a ddeuant oddi wrthyfi medd yr Arglwydd.
54 Sain gwaedd [a glywir] o Babilon: a dinistr mawr
o wlad y Caldeaid,
55 O herwydd yr Arglwydd a anrheithiodd Babilon,
ac a ddinistriodd y mawr-air o honi hi: er rhuo oi
b Dat. 17, 16 tonnau fel dyfroedd lawer [a] rhoddi twrwf ei llef
hwynt.
Sal. 91, 1 2 Thes. 1, 56 b Canys yr anrheith-ŵr, a ddaeth yn ei herbyn hi,
sef yn erbyn Babilon, ai chedyrn hi a ddaliwyd, ei
bwa hi a dorrwyd: canys Arglwydd Dduw y gobr, a
obrwya yn gwbl.
57 Myfi a feddwaf ei thywysogion hi, ai doethion, ei
phennaethiaid, ai swyddogion, ai chedyrn fel y
cyscant hûn dragywyddol, ac na ddeffroant medd y
Brenin, enw yr hwn [yw] Arglwydd y lluoedd.
58 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Gan
ddryllio y dryllir helaeth furoedd Babilon, ai huchel
byrth a loscir â thân: a'r bobl a ymboenant mewn
oferedd, a'r cenhedloedd mewn tân, a hwynt a dde-
ffygiant.
59 Y gair yr hwn a orchymynnodd Ieremi y proph-
wyd i Saraiah fab Neriah, fab Maasiah pan oedd efe
yn myned gydâ Sedecia frenin Iuda i Babilon, y bed-
waredd flwyddyn oi deyrnasiad ef: a Saraiah oedd
dywysog llonydd. c Ex. 16, 33
60 c Felly Ieremi a scrifennodd yr holl niwed a'r a 1 Tim. 4, 18
oedd ar ddyfod yn erbyn Babilon mewn un llyfr: sef Iob 19, 23
yr holl bregethau y rhai a scrifennwyd yn erbyn Ba-
bilon.
61 Ac Ieremi a ddywedodd wrth Saraiah, Pan ddel-
ech di i Babilon, yna edrych di a darllen y geiriau
hynn,
62 A dywet ti, O Arglwydd ti a leferaist yn erbyn y
lle hwn, am ei ddinistrio fel na bydde ynddo bresswyl-
ydd, na dyn nac anifail, eithr yn anghyfannedd tra-
gywyddol.
63 A phan ddarfyddo i ti ddarllen y llyfr hwn, rhwym
di faen wrtho, a bwrw di ef i ganol Euphrates. d Dat. 18, 21
64 d A dywet, Fel hynn y soddir Babilon, ac ni chy- Esa. 26,
fyd hi gan y drwg yr hwn a ddygafi arni, oni ddeffyg- 14 a 64, 14 Mal. 1, 4
iant. Hyd hyn [y mae] Pregethau Ieremi. Dat. 16, 13

## PEN. LII.

*Daliad Sedecia, ac ennill Ierusalem.* 10 *Lladd meibion Se-
decia, a thynnu ei lygaid.* 13 *Anrheithio y ddinas a'r
Deml.* 31 *Iehoacim yn cael dyfod allan o garchar.*

MAB e un mlwydd ar hugain [oedd] Sedecia pan e 2 Bren. 24, 18
ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd ar
ddec y teyrnasodd efe yn Ierusalem, ac enw ei fam ef
oedd Hamutal, merch Ieremi o Libna.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yng-olwg
yr Arglwydd, yn ôl yr hyn oll a'r a wnaethe Iehoa-
cim. f Sal 81, 11
3 f O herwydd [bod] digofaint yr Arglwydd ar Ieru- Rhuf. 1,
salem, ac ar Iuda hyd oni fwriodd efe hwynt allan oi 21 Sal. 42, 8
olwg ef, y gwrthryfelodd Sedecia yn erbyn brenin
Babilon. g 2 Bren. 25, 1
4 g Ond yn y nawfed flwyddyn oi deyrnasiad ef, yn Zec. 8, 10
y decfed mis ar y decfed [dydd] o'r mis y daeth
Nabuchodonosor brenin Babilon, efe ai holl lu yn
erbyn Ierusalem, ac a warchauasant arni hi: ac a
adailadasant gyferbyn â hi amddeffynfa o amgylch.
5 Felly y ddinas a drigodd yng-warche hyd yr unfed
flwyddyn ar ddec i'r brenin Sedecia. h Zec. 8,
6 h Y pedwerydd mis, ar y nawfed [dydd] o'r mis ne- 10 Sal. 107,
wyn a orchfygodd y ddinas, fel nad oedd bara i bobl y 11, 12 Sal. 137
wlad.
7 Yna y torrwyd y ddinas, a'r holl ryfel-wŷr a ffoas-
ant, ac a aethant allan o'r ddinas liw nôs, i ffordd y
porth rhwng y ddau fûr yr hwn [oedd] wrth ardd y
brenin, (a'r Caldeaid [oeddynt] wrth y ddinas o am-
gylch) a hwynt a aethant tua'r rhôs. i Amos 9,
8 i Ond llû y Caldeaid a ymlidiasant ar ol y brenin, ac 14 Sal. 50, 11,
a oddiweddasant Sedecia yn rhosydd Iericho, ai holl 22
lu ef a wascarasant oddi wrtho ef.
9 Yna hwynt a ddaliasant y brenin, ac ai dygasant ef

at frenin Babilon yn Riblah yng-wlad Hemath, ac efe
a roddodd farn arno.
10 A brenin Babilon a laddodd feibion Sedecia yng-
wydd ei lygaid ef: efe a laddodd hefyd holl dywysog-
ion Iuda yn Riblah.
11 j Yna efe a dynnodd lygaid Sedecia, ac ai rhwym-
odd ef â chadwyni, a brenin Babilon ai harweiniodd
ef i Babilon, ac ai rhoddodd ef mewn carchar-dŷ hyd
ddydd ei farwolaeth.
12 k Ac yn y pummed mis, ar y decfed [dydd] o'r
mis, (hon [oedd] y bedwaredd flwyddyn ar bymthec
i'r brenin Nabuchodonosor [sef] brenin Babilon) y
daeth Nabuzaradan pennaeth y mil-wŷr (yr hwn a safe
ger bron brenin Babilon) i Ierusalem.
13 l Ac efe loscodd dŷ yr Arglwydd, a thŷ yr bren-
in, a holl dai Ierusalem: a phob tŷ mawr a loscodd
efe â thân.
14 A holl lu y Caldeaid y rhai [oeddynt] gyd â
phennaeth y mil-wyr a ddestrywiasant holl furoedd
Ierusalem o amgylch.
15 m Yna Nabuzaradan pennaeth y mil-wyr a gaeth-
gludodd [rai] o'r bobl waelaf, a'r gweddill o'r bobl y
rhai a adawsid yn y ddinas, a'r ffoaduriaid y rhai a
giliasant at frenin Babilon sef y gweddill o'r bobl.
16 Ond Nabuzaradan pennaeth y mil-wŷr a adaw-
odd [rhai] o dlodion y wlâd yn winllan-wŷr, ac yn
ardd-wŷr.
17 n A'r Caldeaid a ddrylliasant y colofnau prês y
rhai [oeddynt] yn nhŷ 'r Arglwydd, a'r stolion, a'r
gerwyn brês yr hon [oedd] yn nhŷ 'r Arglwydd: a
hwynt a ddugasant eu holl brês hwynt i Babilon.
18 o A hwynt a ddugasant ymmaith y crochanau, a'r
rhawiau, ar psaltringau, a'r cawgiau, a'r thusserau, a'r
holl lestri prês y rhai yr oeddyd yn gwasanaethu â
hwynt.
19 p A'r phiolau, a'r pedill tân, a'r cawgiau, a'r croch-
anau, a'r canhwyll brennau, a'r thusserau, a'r cwppan-
au y rhai [oeddynt] yn aur, ac yn arian a gymmerodd
pennaeth y mil-wŷr ymmaith.
20 q Y ddwy golofn, un gerwyn, a deu-ddec o ychen
prês y rhai [oeddynt] tan yr stolion, y rhai a wnaeth y
brenin Salomon yn nhŷ 'r Arglwydd: nid oedd pwys
ar brês yr holl lestri hyn.
21 r Am y colofnau, deunaw cufydd [oedd] uchter pob
colofn, a llinin o ddeuddec cyfudd oedd yn ei ham-
gylchu: ai phraffter yn bedair modfedd, ac yn gau.
22 s A chnap prês [oedd] arni, a phump cufydd
[oedd] uchter un cnap, a rhwyd-waith, a phom-
granadau [oeddynt] ar y cnap o amgylch yn
brês ei gyd: ac fel hynn yr oedd yr ail golofn ai
phomgranadau.
23 A'r pomgranadau oeddynt onid pedwar cant ar
ystlys: yr holl bomgranadau ar y rhwyd-waith o am-
gylch oeddynt gant.
24 t A phennaeth y mil-wŷr a gymmerodd Seraiah
yr arch-offeiriad, a Sephaniah yr ail offeiriad, a'r tri
oeddynt yn cadw y drws.
25 u Ac efe a gymmerodd o'r ddinas un stafellydd yr
hwn oedd swyddog ar y rhyfel-wŷr, a seith-wŷr o
weision pennaf y brenin y rhai a gafwyd yn y ddinas:
a Sopher tywysog y llû, yr hwn a fydde yn byddino
pobl y wlad [honno,] a thri ugein-wr o bobl y wlad
y rhai a gafwyd yng-hanol y ddinas.
26 Felly Nabuzaradan pennaeth y mil-wŷr ai cymmer-
odd hwynt ymmaith, ac a aeth â hwynt i Riblah at
frenin Babilon.
27 A brenin Babilon ai tarawodd hwynt, ac ai lladd-
odd hwynt yn Riblah yng-wlad Hemath: fel hyn y
caeth-gludwyd Iuda oi wlad ei hun.
28 v Dymma y bobl y rhai a gaeth-gludodd Nabuch-
odonosor: yn y seithfed flwyddyn [oi deyrnasiad] efe
a gaeth-gludodd o'r Iddewon dair mil, a thri ar hugain.
29 w Yn y ddeu-nawfed flwyddyn i Nabuchodonosor
ef a gaeth-gludodd o Ierusalem wyth gant a deuddec
ar hugain o ddynnion.
30 Yn y drydedd flwyddyn ar hugain i Nabuchodon-
osor, Nabuzaradan pennaeth y mil-wŷr a gaethglud-
odd saith gant, a phump a deugain o Iuddewon: yr
holl ddynnion hyn [oeddynt] bedair mil, a chwe chant.
31 Ac yn yr ail flwyddyn ar bymthec ar hugain
wedi caeth-gludo Iehoacim frenin Iuda y deuddecfed
mis, ar y pummed [dydd] ar hugain o'r mis, Efilmer-
odach brenin Babilon (yn y flwyddyn [gyntaf] oi
deyrnasiad ef) a dderchafodd benn Iehoacim brenin
Iuda, ac ai dug ef allan o'r carchar-dy,
32 Ac a ddywedodd yn dêg wrtho, ac a osododd ei
frenhin-faingc ef uwch law meingciau y brenhinoedd
y rhai [oeddynt] gyd âg ef yn Babilon.
33 x Ac efe a newidiodd ei garchar-wisc ef: yntef a
fwytaodd fwyd ger ei fron ef yn oestad holl ddyddiau
ei enioes.
34 Ai lynniaeth ef [sef] llynniaeth gwastadol a rodd-
wyd iddo ef oddi wrth frenin Babilon, dogn dydd
yn ei ddydd, hyd ddydd ei farwolaeth: [sef] holl
ddyddiau ei enioes ef.

j Sal. 107, 40 Ezec. 17, 16
k Zec. 7, 3 a 8, 19 2 Bren. 25, 8
l 2 Bren. 25, 9
m 2 Bren. 24, 14
n 2 Bren. 25, 13
o Ex. 27, 3 1 Bren. 7, 45
p Ex. 25, 29 Num. 4, 7
q 1 Bren. 7 ... Bren. 7, ... Cron. 22
r ... Cor. 4, 18 ... Bren. 7 ... Bren. 17
s ... Bren. 7,
t 2 Bren. 25, 18 1 Cron. 5, 1 a 23, 4
u 2 Bren. 25, 4
u 2 Bren. 25, 19
v 1 Bren. 15, 25, 26 2 Bren. 24, 12
w 2 Bren. 24, 16
x Gen. 41, 42 2 Sam. 9, 7 2 Bren. 24, 12 Dan. 1, 9 a 2, 48 a 3, 30

*TERFYN LLYFR IEREMI.*

---

# GALAR-NAD
## Y
# PROPHWYD IEREMI.

### PENNOD I.

PA a fodd y mae y ddinas aml [ei] phobl yn eistedd
ei hunan? [pa fodd] y mae y luosog ym mhlith y
cenhedloedd megis yn weddw? [pa fodd] y mae tywys-
oges y talaithau tann deyrn-ged?
2 b Y mae hi yn wylo yn hidl liw nos, ac [y mae] ei
dagrau ar ei gruddiau hi heb [neb] oi chariadau yn
tosturio wrthi hi: ai holl gyfeillion a fuant anghywir

a ...8 ... 14 ... 4, ... 8,
b Ier 9, 1 a 13, 17 Obad 7 Mica 7, 5

w Nah. 3. 23 [w] Gwna gadwyn, canys llannwyd y tir o farn waed-
10 lyd, a'r ddinas sydd lawn o drais,
2 Bren. 21 24 Am hynny y dygaf rai gwaethaf y cenhedloedd
16 fel y gorescynnant ei tai hwynt: felly y difethaf falch-
der y cedyrn, ai cyssegroedd a halogir.
25 Y mae torr yn dyfod, yna y ceisiant heddwch, ac
ni's [cant.]
x Deut. 32. 23 26 [x] Daw trychineb, ar drychineb, a bydd chwedl,
Sal. 74. 9 ar chwedl, yna y ceisiant weledigaeth gan y proph-
1 Sam. 28. 15 wyd: onid cyfraith a gyll gan yr offeiriaid, a chyngor
gan yr henuriaid.
Galar. 2. 9 27 [y] Y brenin a alara, a'r tywysog a wiscir âg anrhaith,
y 2 Cron. 36. 13 a dwylo pobl y tir a gynhyrfir: gwnaf a hwynt yn ol
Ier. 36. 25 eu ffordd eu hun, ac ai barnedigaethau eu hun y barnaf
Mat. 7. 2 hwynt, fel y gwyhyddant mai myfi [ydwyf] yr Ar-
Esa. 26. 11 glwydd.

## PEN. VIII.

1 *Yr amser y gwelodd Ezeciel gyffelybrwydd Duw, ac y dug yr yspryd ef i Ierusalem.* 6 *Duw yn dangos iddo ef frynti, a gau-dduwiaeth y bobl.*

z Luc 10. 39 ABU [z] yn y chweched flwyddyn, yn y chweched
Act 8. 28 [mis,] ar y pummed [dydd] o'r mis, [a] mi yn
a 10. 33 eistedd yn fy nhŷ, a henuriaid Israel yn eistedd ger fy
Mal. 2. 7 mron, yna syrthio llaw 'r Arglwydd Dduw arnaf.
2 Bren. 6. 32 2 [a] Yna 'r edrychais, ac wele gyffelybrwydd, fel rhith
Act 10. 44 tân, o welediad ei lwyni ac issod yn dân: ac oi lwyni,
a Dat. 1. 14 ac uchod fel gweledied disclerdeb, megis lliw Amber.
Ioan 1. 14 3 [b] Ac efe a estynnodd lûn llaw, ac a'm cymmerodd
Tit. 2. 13 erbyn gwallt fy mhen, a chododd yspryd fi rhwng y
b Mat. 7. 29 ddaiar a'r nefoedd, ac a'm dug i Ierusalem mewn gwel-
Ex. 30. 3 edigaeth Dduw, hyd ddrws y porth nesaf i mewn, yr
hwn sydd yn edrych tua'r gogledd, lle 'r [ydoedd]
eisteddfa delw 'r eiddigedd, yr hon a wnae eiddigedd.
c Ier. 2. 11 4 [c] Ac wele yno ogoniant Duw Israel, fel y weled-
2 Cor. 3. 18 igaeth yr hon a welswn yn y dyffryn.
5 Ac efe a ddywedodd wrthif, Mab dyn cyfot attol-
wg dy lygaid [tua] ffordd y gogledd: felly y cyfodais
fy llygaid [tua] ffordd y gogledd, ac wele tua 'r gog-
ledd, wrth borth yr allor ddelw 'r eiddigedd hon, yn
y drws.
d Amos 6. 3 6 [d] Ac efe a ddywedodd wrthif, Mab dyn, a weli di
beth y maent hwy yn ei wneuthur? y ffiaidd-dra mawr
yr hwn y mae tŷ Israel yn ei wneuthur ymma, i'm
gyrru ymmaith oddi wrth fyng-hyssegr? ac etto dych-
wel, cei ymma weled ffieidd-dra mwy.
e 1 Bren. 7. 12 7 [e] Ac efe a'm dug i ddrws y cyntedd, yno 'r edrych-
ais, ac wele ryw dwll yn y pared.
2 Bren. 21. 5 8 [f] Ac efe a ddywedodd wrthif, Mab dyn cloddia
f 1 Cron. 23. 28 drwy 'r pared: yna y cloddiais drwy 'r pared, ac wele
ryw ddrws.
9 Ac efe a ddywedodd wrthif, Dos i mewn, ac edrych
y ffieidd-dra drygionus y rhai y maent hwy yn eu
gwneuthur ymma.
g Lef. 11. 4 10 [g] Felly 'r euthum, ac edrychais, ac wele bob math
ymlusciad, ac anifail ffiaidd, a holl eulynnod tŷ Israel
wedi eu portreio ar y pared o amgylch ogylch.
h Num. 11. 17 11 [h] A deng-wr a thrugain o henuriaid tŷ Israel yn
sefyll ar eu cyfer hwynt, ac Iaazaniah mab Saphan yn
2 Bren. 22. 12 sefyll ym mysc y rhai hynny: a phob un ai thusser yn
Ex. 25. 6 ei law, ac amlder niwl y mwg-darth oedd yn derchafu.
i Ioan 3. 20 12 [i] Ac efe a ddywedodd wrthif, A weli di fab dyn yr
Sal. 10. 11 hyn y mae henuriaid Israel yn ei wneuthur mewn
2 Cron. 28. 23 tywyllwch, bob un o fewn ei ddelw-gelloedd? canys
Ier. 44. 18 dywedant, Nid yw'r Arglwydd yn ein gweled, gad-
awodd yr Arglwydd y ddaiar.
2 Tim. 3. 13 13 [j] Ac efe a ddywedodd wrthifi eil-waith, Cei weled



ffieidd-dra mawr y rhai a wnaethant hwy.
14 [k] Ac efe a'm dûg i ddrws porth tŷ 'r Arglwydd yr k 2 Bren. 23. 12
hwn [sydd] tua 'r gogledd, ac wele yno wragedd yn Hos. 9. 10
eistedd gan wylo am Thammuz. Num. 15. 5
15 Ac efe a ddywedodd wrthif, A weli di fab dyn,
dychwel etto, cei weled ffieidd-dra mwy na hyn.
16 [l] Ac efe a'm dug i gyntedd tŷ 'r Arglwydd oddi l Ho. 12. 7
fewn, ac wele [wrth] ddrws Teml yr Arglwydd,
rhwng y porth a'r allor, yng-hylch pum-wr ar hugain.
pob un ai cefn at deml yr Arglwydd, ai hwynebau tua 'r
dwyrain, a'r rhai hyn oeddynt yn ymgrymmu i'r haul
tu'r dwyrain.
17 [m] Ac efe a ddywedodd wrthif, A weli di fab dyn m Sal. 106. 19
ai yscafnach [dim] gan dŷ Iuda, na gwneuthur y Mica 6. 12
ffiaidd-dra y rhai a wnaethant ymma? canys llanwasant
y tir a thrais, a gwrthdroasant i'm cyffroi fi, ac wele
hwynt yn bwrw canghennau wrth eu ffroenau.
18 [n] Minne hefyd a wnaf yn fy llid, nad arbedo fy n Mica 3. 4
llygaid, ac ni thosturiaf: yna y llefant yn fyng-hlus-
tiau a llefain mawr, ac ni wrandawaf hwynt.

## PEN. IX.

*Dinistr Ierusalem.* 4 *Y rhai cadwedic.* 8 *Achwyn y prophwyd am y dinistr.*

LLEFODD [o] hefyd a llef uchel lle y chlywais gan o Amos 3. 7
ddywedyd, Nesewch swyddogion y ddinas, a Dan. 10. 22
phob un ai arf dinistr yn ei law.
2 [p] Ac wele chwech o wŷr yn dyfod o ffordd y porth p Sal. 103. 21
uchaf, yr hwn sydd yn edrych tua'r gogledd, a phob 1 Tim. 2. 5
un ai arf dinistr yn ei law: ac [yr oedd] un gwr yn eu
mysc hwynt, wedi ei wisco â lliain, a chorn dû scrif- Dat. 19. 11
ennudd wrth ei glûn, a hwy a aethant i mewn, ac a Mat. 3. 16
safasant wrth yr allor brês.
3 A gogoniant Duw Israel a gyfododd, oddi ar y
Cerub yr hwn yr ydoedd efe arno, hyd rhiniog y tŷ,
ac a lefodd ar y gŵr yr hwn oedd wedi ei wisco â
lliain, yr hwn [yr oedd] corn dû scrifennudd wrth ei
glûn.
4 [q] A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho ef, Dos trwy- q 2 Cor. 1. 22
ganol y ddinas, [sef] trwy ganol Ierusalem, a noda Dat. 7. 3
nod ar dalcennau y dynnion y rhai ydynt yn uchen- Sal. 119. 53
eidio ac yn gweiddi am y ffieidd-dra oll, yr hwn a
wneir oi mewn hi.
5 Ac wrth y lleill y dywedodd efe lle y clywais,
Ewch trwy 'r ddinas ar ei ol ef, a tharewch, nac
arbeded eich llygaid, ac na thosturiwch.
6 [r] Lleddwch yn farw yr hen-wr, y gŵr ieuangc a'r r Dat. 7. 3
forwyn, y plant hefyd a'r gwragedd: ond na ddeuwch 1 Pedr 4. 17
yn agos at un gŵr yr hwn y byddo y nôd arno, ac ar
fyng-hyssegr y dechreuwch: felly y dechreuasant ar
y gwŷr hên y rhai oeddynt ger bron y tŷ.
7 [s] Dywedodd wrthynt hefyd, Halogwch y tŷ, a llen- s 2 Bren. 23. 16
wch y cynteddoedd o rai archolledig, ewch allan: Galar. 2. 7
felly hwy a aethant allan, ac a darawsant trwy 'r 2 Cron. 36. 17
ddinas.
8 [t] A phan darawyd hwynt, a'm gadu inne, yna mi t Ios. 7. 6
a syrthiais ar fy wyneb, gwaeddais hefyd a dywedais, Ier. 9. 1
O Arglwydd Dduw, a ddifethi di holl weddill Israel, 2 Cron. 21. 2
wrth dywallt dy lid ar Ierusalem?
9 [u] Ac efe a ddywedodd wrthif, Anwiredd tŷ Israel, u Esa. 29. 15
a thŷ Iuda sydd fawr odieth: canys llawnwyd y tir
o waed, a llawnwyd y ddinas o wyrni: o herwydd
dywedasant, Gwrthododd yr Arglwydd y tir, ac nid
yw'r Arglwydd yn gweled.
10 [v] Ac am danafi [diau] nad erbyd fy llygaid, ac na v Diar. 10. 6
thosturiaf [wrthynt:] rhoddaf eu ffordd eu hun ar eu
pennau.

w Dat.16, 17 11 w Ac wele y gŵr wedi ei wisco â lliain yr hwn yr
Sal.40,8 [oedd] y corn dû wrth ei glûn, yn dwyn gair trachefn
gan ddywedyd, Gwneuthum fel y gorchymynnaist i mi.

## PEN. X.

*Gweledigaeth marwor yn arwyddocau llosciad Ierusalem, ac adroddiad gweledigaeth y Cerubiaid a'r olwynion, yr hon sydd yn y bennod gyntaf.*

x Hab. 2, 1 YNA x 'r edrychais, ac wele ar y ffurfafen, yr hon
Sal.85,8 [oedd] uwch benn y Cerubiaid, megis maen
Esa.66,1 Saphyr, fel dull cyffelybrwydd gorseddfa a welid ar-
nynt hwy.
y Luc 12, 49 2 y Ac efe a lefarodd wrth y gŵr a wiscasid â lliain,
Mica1,12 ac a ddywedodd, Dos i mewn rhwng yr olwynion, hyd
tann y Cerub, a llanw dy ddwylo o farwar tanllyd,
oddi rhwng y Cerubiaid, a thana ar y ddinas: felly efe
a aeth o flaen fy llygaid.
z Heb. 1, 14 3 z A'r Cerubiaid oeddynt yn sefyll o du deheu y tŷ
1 Pedr 1, 12 pan ddaeth y gŵr i mewn: a'r niwl a lanwodd y cyntedd
Dat.15,8 nesaf i mewn.
b Ioan 1, 14 4 bYna y cyfododd gogoniant yr Arglwydd oddi ar y
Cerub hyd rinnioc y tŷ, a'r tŷ a lannwyd o niwl: felly
y llannwyd y cyntedd o ddiscleirdeb gogoniant yr Ar-
glwydd.
c Dat. 18, 2 5 c A sŵn adenydd y Cerubiaid a glywyd hyd y cyn-
Sal.29,3, tedd nesaf allan, fel sŵn Duw holl-alluog pan lefare efe.
6 d Bu hefyd pan orchymynnodd efe i'r gŵr a wis-
d Mat.12, casid â lliain gan ddywedyd, Cymmer dân oddi rhwng
Ioan14,51 yr olwynnion [sef] oddi rhwng y Cerubiaid, felly fyned
Esa. 10,6 Hos 5,10 o honaw ef, a sefyll wrth yr olwynion.
e Sal. 103, 20 7 e Yna 'r estynnodd y Cerub ei law oddi rhwng y
Cerubiaid i'r tân, yr hwn [oedd] rhwng y Cerubiaid,
ac a gododd, ac a roddodd, [beth] yn nwylo 'r hwn a
wiscasid â lliain: yntef a gymmerodd, ac a aeth allan.
f Act.5,19 8 f A gwelid gan y Cerubiaid law dyn tann eu had-
1 Cor. 15, 10 enydd.
Sal.115,1 9 Edrychais hefyd, ac wele bedair olwyn, wrth y
Cerubiaid, un olwyn wrth bob Cerub: a gweledlad yr
olwynion oedd fel lliw maen Tharsys.
10 Ai gweledlad oedd un wedd iddynt ill pedwar, fel
pe bydde olwyn o fewn olwyn.
g Ioan15, 11 g Pan gerddent, ar eu pedwar ochr y cerddent,
Mat. 3, 9 ni throent pan gerddent, canys lle 'r edryche y penn
Dat19,11 y cerddent ar ei ol ef, ni throent pan gerddent.
12 Eu holl gnawd hefyd, ai cefnau, ai dwylo, ai
hadenydd, a'r olwynion oeddynt yn llawn llygaid oddi
amgylch: eu holwynion oeddynt iddynt ill pedwar.
13 Galwyd hefyd lle y clywais arnynt [sef] ar yr
olwynion, *O olwyn.*
14 A phedwar wyneb [oedd] i bob un, wyneb y cyntaf
yn wyneb Cerub, ac wyneb yr ail yn wyneb dyn, a'r
trydydd yn wyneb llew, a'r pedwerydd yn wyneb
eryr.
15 Yna y Cerubiaid a ddercbafasant, Dymma 'r anifail
yr hwn a welais wrth afon Chebar.
16 A phan gerdde y Cerubiaid, y cerdde 'r olwynion
wrthynt, a phan gode y Cerubiaid eu hadenydd i ym-
dderchafu oddi ar y ddaiar, yr olwynion hwythau ni
throent ychwaith oddi wrthynt.
h Iob 26, 13 17 h Safent, pan safent hwytheu, a chodent gyd â
hwy pan godent hwytheu, canys yspryd yr anifail
[oedd] ynddynt.
i Hos 9,12 18 i Yna gogoniant yr Arglwydd a aeth allan oddi ar
Ier. 6,7,8 rinniog y tŷ, ac a safodd ar y Cerubiaid.
19 A'r Cerubiaid a godasant eu hadenydd, ac a dder-
chafasant oddi ar y ddaiar o flaen fy llygaid: a'r olwyn-
ion ar eu cyfer pan ddaethant allan: a safodd [pob un
wrth] ddrws porth y dwyrain i dŷ 'r Arglwydd: a go-
goniant Duw Israel arnynt oddi arnodd.
20 Dymma 'r anifail yr hwn a welais tann Dduw 'r
Israel wrth afon Chebar: a gwybûm mai y Cerubiaid
hynny [oedd] efe.
21 Pedwar wyneb oedd i bob un, a phedair aden [i
bob] un, a chyffelybrwydd dwylo dyn dann eu haden-
ydd.
22 Cyffelybrwydd eu hwynebau hwynt [oedd] yr
wynebau hynny, y rhai a welais wrth afon Chebar, eu
dull hwynt, a hwythau: cerddent bob un ar gyfer eu
wyneb.

## PEN. XI.

*Pwy sy yn twyllo y bobl, ai cospedigaeth. 19 Duw yn addo adnewyddu rhai, ac yn bygwth cospi 'r lleill.*

YNA j i'm cyfododd yspryd, ac i'm dûg hyd borth j 1 Cron.
dwyrain tŷ 'r Arglwydd, yr hwn sydd yn edrych 31,13
tua 'r dwyrain: ac wele bum-ŵr ar hugain yn nrŵs y Esa. 1,10
porth, ac yn eu mysc hwynt y gwelwn Iaazaniah fab
Azur, a Pheltiah fab Benaiahu, tywysogion y bobl.
2 k Ac efe a ddywedodd wrthif, Ha fab dyn, dymma y k Ier. 18,
gŵyr y rhai ydynt yn dychymygu coegni, ac yn ym- 18
gynghori â drwg gyngor yn y ddinas hon.
3 l Y rhai a ddywedant, Nid madws adailadu tai, hi yw l 2 Pedr 3,
'r crochan, ninneu 'r cîg. 4
4 m Am hynny prophwyda di iw herbyn hwynt, pro- m Esa. 64
phwyda fab dyn. 5
5 n Yna y syrthiodd ysbryd yr Arglwydd arnaf, ac a n Ex 4,12
ddywedodd wrthif, Dywet, Fel hynn y dywedodd yr Luc 21,15
Arglwydd, Tŷ Israel felly y dywedasoch: canys mi a
adwen amcannion eich ysbryd.
6 Amlhasoch eich lladdedigion o fewn y ddinas hon,
a llanwasoch ei heolydd hi â chelanedd.
7 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Eich lladdedigion y rhai a osodasoch oi mewn hi yw 'r
cîg, a hithe yw yr crochan: chwithau a ddygaf allan
oi chanol,
8 Cleddyf a ofnwch, a chleddyf a ddaw arnoch medd
yr Arglwydd Dduw.
9 o Dygaf chwi hefyd allan oi chanol, a rhoddaf chwi o Esa 5, 6
yn llaw dieithriad, a gwnaf farn arnoch.
10 p Ar y cleddyf y syrthiwch, ar derfyn Israel y barn- p 1 Bren.
af chwi, fel y gwypoch mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd. 8,65
11 Hon ni bydd i chwi yn grochan, ni byddwch 2 Bren 25
chwithau yn gîg oi mewn: ar derfyn Israel y barnaf 6
chwi. Ier.52,10
12 q A chewch wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd; q Sal 9,16
canys ni rodiasoch yn fy neddfau: ac ni wnaethoch fy Deut.12,
marnedigaethau: onid yn ol barnedigaethau y cenhedl- 29
oedd y rhai [ydynt] o'ch amgylch y gwnaethoch.
13 r A phan brophwydais, bu farw Pheltiah mab r 1 Bren.
Benaiahu: yna syrthiais ar fy wyneb, a gwaeddais a 13,4,12,
llef uchel, a dywedais, O Arglwydd Dduw a wnei di 17
drangc ar weddill Israel? Hos. 6, 5
14 s Yna y daeth gair yr Arglwydd attaf gan ddyw- s Sal. 105,
edyd, 13, 14
15 t Ha fab dyn dy frodyr, dy frodyr, dy ddynion t Ioan 16,
cyfnesaf, a holl dŷ Israel yn gwbl [ydynt y rhai] y dy- 2
wedodd presswylwyr Iesusalem wrthynt, Ymbell- Esa. 66,5
hewch oddiwrth yr Arglwydd, i ni y rhodded y tir Mica3,11
hwn yn etifeddiaeth.
16 u Dywet am hynny, Fel hyn y dywed yr Argl- u Mica 4,
wydd Dduw: Er gyrru o honof hwynt ymhell ym 12
mysc y cenhedloedd, ac er gwascaru o honof hwynt Esa. 45,6
trwy y tiroedd, etto byddaf yn gyssegr bychan iddynt 7
yn y tiroedd lle y daethant. Ier 29,5, 7

17 Dywet gan hynny, Fel hyn y dywed yr Argl-
wydd Dduw, Casclaf chwi hefyd o fysc y bobloedd, a
chynhullaf chwi o'r tiroedd y rhai i'ch gwascarwyd
ynddynt, a rhoddaf i chwi dir Israel.
vHos 11, 18 v A phan ddelant yno symmudant ei holl frynti hi,
6 ai holl ffieidd-dra o honi hi,
Ioel 3, 17 wJer. 32, 19 w A rhoddaf iddynt un galon, ac yspryd newydd
39 a roddaf yn eu ceudod: symmudaf hefyd y galon
garrec oi cnawd hwynt, ac mi a roddaf iddynt galon
gig:
xSal. 105, 20 x Fel y rhodiant yn fy neddfau, ac y cadwant fy
45, 46 marnedigaethau, ac y gwnant hwynt: byddant yn bobl
i mi, minne a fyddaf Dduw iddynt hwy.
yMat 13, 21 y Os wrth feddwl eu brynti ai ffieidd-dra'r aiff eu
30 calon, rhoddaf eu ffordd ar eu pennau eu hun, medd
yr Arglwydd Dduw.
22 A'r Cerubiaid a gyfodasant eu hadenydd, a'r ol-
wynion ar eu cyfer hwynt, a gogoniant Duw Israel
[oedd] arnynt oddi arnodd.
zZec. 14, 23 z Yna gogoniant yr Arglwydd a dderchafodd oddi
4 ar ganol y ddinas, ac a safodd ar y mynydd yr hwn
Hos. 11, 8 [oedd] o'r tu dwyrain i'r ddinas.
a2Cor. 12 24 a Yna yspryd a'm cododd fi, ac a'm dug hyd Caldea,
3 at y gaeth-glud mewn gweledigaeth drwy Yspryd
Duw: a'r weledigaeth yr hon a welswn a dderchafodd
oddi wrthif.
bAct. 20, 25 b Yna y lleferais wrth y gaeth-glud holl eiriau'r
20 Arglwydd y rhai a ddangosase efe i mi.

## PEN. XII.

*Y prophwyd ar ddammeg yn dangos y caeth gludid Sedecia ai bobl i Babilon,* 18 *Ac ar ddammeg arall yn bygwth newyn a phrinder mawr.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf, gan ddy-
wedyd,
cEsa. 6, 9 2 c Trigo'r ydwyt ti fab dyn, yng-hanol tŷ anufydd-
Ioan 9, 41 gar, y rhai [y mae] llygaid iddynt i weled, ac ni welant,
a chlustiau iddynt i glywed, ac ni chlywant: canys
tŷ anufyddgar ydynt hwy.
3 A thithe fab dyn gwna it offer caethfud, a muda
liw dydd o flaen eu llygaid hwynt, ie muda o'th le dy
hun i le arall, yng-wydd eu llygaid hwynt: ond odid
gwelant mai tŷ anufyddgar [ydynt] hwy.
dJer 39, 4 4 d A dwg allan dy ddodrefn liw dydd yngwydd eu
52, 7 llygaid fel dodrefn caethfud: dos dithe allan yn yr
hwyr yng-wydd eu llygaid, fel rhai yn myned allan i
gaeth-glud.
5 Cloddia o flaen eu llygaid hwynt i ti [dwll] mewn
mur, a dwg allan trwy hwnnw:
2 Sam. 6 e Llwytha ar dy ysgwydd yng-wydd eu llygaid
30 Esa. 8, 18 hwynt, mewn tywyllni y dygi allan, dy wyneb a guddi
fel na welech y ddaiar: canys yn arwydd i'th roddais
i dŷ Israel.
Cor. 1, 7 f Ac mi a wnaethum felly fel i'm gorchymynnwyd,
4t. 16, dygais fy offer, allan liw dydd fel offer caeth-fud: ac
Bren 25 yn yr hwyr y cloddiais i'm [dwll] mewn mur a'm llaw:
mewn tywyllwch y dygais allan, ar fy ysgwydd y
llwythais o flaen eu llygaid hwynt.
8 A'r boreu y daeth gair yr Arglwydd attaf, gan
Cor. 1 ddywedyd,
9 g Ha fab dyn oni ddywedodd tŷ Israel (sef y tŷ
Cron. annufyddgar) wrthit, Beth yr wyt ti yn ei wneuthur?
11 .15, 1 10 h Dywet wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
1. 1. 1 Dduw: Y tywysog yn Ierusalem [a ddwg] y baich hwn,
Cor. 5, a holl dŷ Israel y rhai y maent hwy yn eu mysc.
2. 1, 1 11 i Dywet, Eich arwydd chwi ydwyfi, fel y gwnaeth-
en 25 um i felly y gwneir i chwitheu: mewn caeth-glud yr
ewch, [ac] mewn caethiwed.
12 A'r tywysog yr hwn [sydd] yn eu canol a lwytha
ar ei ysgwydd, mewn tywyllwch yr aiff allan: clodd-
iant trwy'r mur fel yr elont allan trwyddo, ei wyneb
a guddia efe fel na welo efe y ddaiar ai lygaid.
13 j Canys tanaf fy rhwyd arno ef, fel y dalier ef yn jIob 19, 6
fy rhwyd, a dygaf ef i Babilon tir y Caldeaid, ac ni Galar. 3, 13
wel efe hi, etto yno y bydd efe marw. 2Bren 25, 7
14 A gwascaraf ei holl nerth ef sef y rhai a [fyddant]
oi amgylch, ai holl lu gyd a phob gwynt, a thynnaf
gleddyf ar eu hol hwynt.
15 k Felly y cant wybod mai myfi ydwyf yr Ar- kEsa 66, 9
glwydd, wedi gwascaru o honof hwynt ymmysc y Sal. 9, 16
cenhedloedd, ai tanu hwynt ar hyd y tiroedd.
16 l Etto gweddillaf o honynt ychydig ddynion oddi l 2 Bren.
wrth y cleddyf, oddi wrth newyn, ac oddi wrth haint: 16, 3, 4
fel y mynegant eu holl ffieidd-dra ym mysc y cenhedl- a 21, 2, 3
oedd lle y delant: a gwybyddant mai myfi ydwyf yr
Arglwydd.
17 Gair yr Arglwydd hefyd a ddaeth attaf gan ddy-
wedyd,
18 m Ha fab dyn bwyttei dy fara mewn cynnwrf, a'th m Galar.
ddwfr a yfi mewn dychryn, a gofal: 5, 9 Lef. 26,
19 n A dywet wrth bobl y tir, Fel hyn y dywed yr 36
Arglwydd Dduw am drigolion Ierusalem, ac am wlad nSal. 107, 34
Israel: Eu bara a fwytant mewn gofal, ai dwfr a yfant Zec. 7, 14
mewn anrhaith, fel yr anrheithir ei thir oi chyflawn- Mica 3, 12
der am drais y rhai oll a drigant ynddi.
20 A'r dinasoedd cyfanneddol a anghyfanneddir, a'r
tir a fydd anrhaithiedic, felly y gwybyddwch mai myfi
[ydwyf] yr Arglwydd.
21 A daeth gair yr Arglwydd attaf, gan ddywedyd,
22 Ha fab dyn beth [yw] y ddihareb hon a genwch
am dir Israel gan ddywedyd, Y dyddiau a estynnasant,
a darfu am bob gweledigaeth:
23 o Am hynny dywet ti wrthynt, Fel hyn y dywed oSal. 37,
yr Arglwydd Dduw, Gwnaf i'r ddihareb hon beidio, 13
fel nad arferant hi mwy yn Israel: ond yn hytrach
dywet wrthynt, y dyddiau a sylwedd pob gweledig-
aeth a nesauasant.
24 p Canys ni bydd mwy un weledigaeth ofer, na p Galar.
dewiniaeth weniaithus o fewn tŷ Israel. 2, 14 Diar. 5, 3
25 q Canys myfi'r Arglwydd a lefaraf y peth a lefar- a 26, 28
wyf, ac efe a wneir, nid oedir efe mwy: o herwydd yn qDan. 9, 12
eich dyddiau chwi O dŷ annufuddgar y llefaraf air, ac Esa. 55,
efe a wneir, medd yr Arglwydd Dduw. 11
26 A gair yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddywedyd, Luc 21, 33
27 r Ha fab dyn wele dŷ Israel yn dywedyd, y wel- r2Pedr 3, 4
edigaeth yr hon a welodd efe [fydd] wedi dyddiau Esa 28, 15
lawer, a phrophwydo y mae efe am amseroedd pell. Mat. 15,
28 Am hynny dywet wrthynt, Fel hyn y dywedodd 55
yr Arglwydd Dduw, nid oedir dim o'm geiriau mwy,
canys y gair yr hwn a ddywedais a gwpleir, medd yr
Arglwydd Dduw.

## PEN. XIII.

*Bygwth ar y gau brophwydi.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddy-
wedyd,
2 s Prophwyda fab dyn yn erbyn prophwydi Israel, s2Pedr 2, 1
y rhai ydynt yn prophwydo, a dywet wrth y rhai a
brophwydant oi meddwl eu hun, Gwrandewch air yr
Arglwydd.
3 t Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Gwae'r tDat. 28,
prophwydi ynfyd y rhai a rodiant yn ol eu hyspryd 15 Diar. 14,
eu hun, ac heb weled [dim.] 4

(n Can. 2, 15. Mica 3, 5, 11.) 4 [n] Dy brophwydi Israel ydynt fel llwynogod yn yr anialwch.

(v Sal. 106, 23, 13. 1 Sam. 12, 24.) 5 [v] Ni safasoch yn yr adwyau, ac ni chaeasoch gae o amgylch tŷ Israel: i sefyll yn y rhyfel ar ddydd yr Arglwydd.

(w Diar. 14, 15.) 6 [w] Gwagedd, a gau ddewiniaeth a welsant, y rhai a ddywedant, Dywedodd yr Arglwydd: a'r Arglwydd heb eu hanfon hwynt: a pharasant ddisgwil am gyflawni [eu] gair.

(x 2 Pedr 2, 18.) 7 [x] Onid gau weledigaeth a welsoch, a gau ddewiniaeth a draethasoch, pan ddywedasoch, Yr Arglwydd a ddywedodd, a minnef heb ddywedyd?

(y Ier. 21, 13 a 23, 21.) 8 [y] Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Am lefaru o honoch wagedd, a gweled o honoch gelwydd: am hynny wele fi i'ch erbyn medd yr Arglwydd Dduw.

(z Dat. 13, 6 a 21, 27.) 9 [z] A bydd fy llaw yn erbyn y prophwydi y rhai ydynt yn gweled gwagedd, ac yn dewinio celwydd, ynghyfrinach fy mhobl ni byddant, ac o fewn scrifen tŷ Israel ni scrifennir hwynt: i dir Israel hefyd ni ddeuant, fel y gwybyddant mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd Dduw.

(a Eph. 4, 14. Ier. 29, 9.) 10 [a] O achos, ac o herwydd hudo o honynt fy mhobl gan ddywedyd, Heddwch, lle nid [oedd] heddwch: pan yw hwn yn adeiladu mur, wele hwythau yn ei galchu ef â salwedd.

(b Esa. 28, 2 a 8, 7, 8. Esa. 21, 1.) 11 [b] A dywet wrth y rhai a galchant â salwedd, y syrth efe: canys cur-law a fydd, a chwithau gerric cenllysc a syrthiwch: a gwynt tymhestloedd a rwyga.

(c Galar. 2, 14. Ier. 7, 4 a 28, 1 a 29, 31.) 12 [c] Wele pan syrthio'r mur, oni ddywedir wrthych, Mae'r calch â'r hwn y calchasoch?

13 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Minne a rwygaf â gwynt yspryd tymhestloedd yn fy llid, a chur-law fydd yn fy nig: a cherrig cenllysc mewn llidiawgrwydd i ddifetha.

(d Sal. 127, 1. Mica 1, 6.) 14 [d] Felly y dinistriaf y mur yr hwn a galchasoch â salwedd, a tharawaf ef i'r llawr, fel y gwypoch mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.

(e Sal. 50, 21. Diar. 14, 7.) 15 [e] Pan orphenwyf fy llid ar y mur, ac ar y rhai ai calchasant â salwedd: yna y dywedaf wrthych, Y mur nid [yw,] na'r rhai a'i calchasant,

(f Ier. 6, 14 a 28, 9. Esa. 57, 21. 2 Bren. 9, 22.) 16 [f] [Sef] prophwydi Israel y rhai a brophwydant am Ierusalem, ac a welant iddi weledigaeth heddwch, pan nad [oes] heddwch medd yr Arglwydd Dduw.

(g Ier. 6, 2. Dat. 2, 20. Ex. 32, 7.) 17 [g] Tithe fab dyn gosot dy wyneb yn erbyn merched dy bobl y rhai a brophwydant wrth eu meddwl eu hun: a phrophwyda yn eu herbyn hwynt.

(h Esa. 30, 10. 2 Tim. 3, 6. 2 Sam. 15, 30. Diar. 6, 26.) 18 [h] Dywet hefyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Gwae gwniadyddesau clustogau tann holl elinoedd dwylo fy mhobl, a'r rhai a weithiasant foledau am benn pob sefyll-beth, i hela eneidiau. Ai eneidiau fy mhobl a heliwch chwi, i gadw yn fyw einioes i chwi?

(i 2 Pedr 2, 3.) 19 [i] A halogwch chwi fi wrth fy mhobl er dyrneidiau o haidd, ac am dammeidiau o fara, gan ladd yr eneidiau y rhai ni byddent farw, ac addo einioes i'r rhai ni byddent fyw, gan ddywedyd o honoch gelwydd wrth fy mhobl y rhai a wrandawant gelwydd?

20 Am hynny fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw, Wele fi at eich clustogau chwi, â'r rhai yr ydych yn hela eneidiau i beri iddynt ehedec, a rhwygaf hwynt oddwrth eich breichiau: a gollyngaf yr eneidiau [sef] yr eneidiau y rhai yr ydych yn eu hela i beri iddynt ehedeg.

21 Rhwygaf hefyd eich moledau chwi, a gwaredaf fy mhobl o'ch llaw chwi, ac ni byddant mwy yn eich llaw chwi yn helfa, fel y gwypoch mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd,

(j Ier. 23, 14. 2 Sam. 23, 6. 2 Pedr 2, 19.) 22 [j] Am dristau calon y cyfiawn drwy gelwydd, a minne heb ei ofidio ef, ac am gadarnhau dwylo'r annuwiol, fel na ddychwelo oi ffordd ddrygionus iw fywhau,

23 O herwydd hynny, ni welwch wagedd, ac ni ddewinwch ddewiniaeth mwy, canys gwaredaf fy mhobl o'ch llaw chwi, fel y gwypoch mai myfi [yw'r] Arglwydd.

## PEN. XIV.

*Yr Arglwydd yn naccau y bobl oi air am eu pechod. 9 Ac yn gadu i'r gau-brophwydi dwyllo dirmyg-wyr ei air ef. 22 Cysur y rhai a ffoesent i Babilon.*

YNA y daeth attaf wŷr o henuriaid Israel, ac a eisteddasant o'm blaen.

2 Yna y daeth gair yr Arglwydd attaf, gan ddywedyd,

(k Ier. 17, 1. Seph. 1, 3. 2 Bren. 12, 19.) 3 [k] Y gwŷr hyn O fab dyn, a dderchafasant yn eu calonnau, rhoddasant hefyd dramgwydd eu hanwiredd ar gyfer eu hwynebau: A attebwn i hwynt er iddynt ymorol â mi?

(l Hos. 8, 11. Esa. 66, 3. 2 Thes. 2, 10. 1 Bren. 22, 21.) 4 [l] Am hynny chwedleua di â hwynt, a dywet wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Pob un o dŷ Israel, yr hwn a ddyrchafa ei eulynod yn ei galon, ac a osodo dramgwydd ei anwiredd ar gyfer ei wyneb, ac a ddaw at brophwyd: myfi'r Arglwydd ai hattebaf ef pan ddelo yn amlder ei eulynnod.

(m 1 Tim. 4, 11.) 5 [m] Er mwyn dal tŷ Israel erbyn eu calonnau y rhai a ymddieithriasant oddi wrthif oll, trwy eu heolynnod.

(n Act. 11, 18. 2 Tim. 2, 25.) 6 [n] Am hynny dywet wrth dŷ Israel, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Troiwch a dychwelwch oddiwrth eich eulynnod, a throiwch eich wynebau oddiwrth eich holl ffiaidd-dra.

(o Diar. 1, 14 a 15, 8. Ier. 4, 15. Hos. 9, 14. 1 Sam. 9, 9. 2 Bren. 8, 8, 9.) 7 [o] Canys pob un o dŷ Israel, ac o'r dieithr yr hwn a ymdeithio o fewn Israel, ac a ymddieithro oddi ar fy ol i, ac a dderchafo ei eulynnod yn ei galon, ac a osodo dramgwydd ei anwiredd ar gyfer ei wyneb, ac a ddel at brophwyd i ymofyn â'm fi trwyddo ef: myfi 'r Arglwydd a attebaf iddo ef trwofi fy hun.

(p Deut. 28, 37. Lef. 20, 3.) 8 [p] Gosodaf hefyd fy wyneb yn erbyn y gŵr hwnnw, a gosodaf ef yn arwydd, ac yn ddiarhebion, a gwnaf ei dorri ef ymmaith o fysc ei bobl: fel y gwypoch mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.

9 Ac os twyllir y prophwyd pan lefaro air, myfi 'r Arglwydd a dwyllodd y prophwyd hwnnw: ac mi a estynnaf hefyd fy llaw arno ef, ac ai difethaf ef o fysc fy mhobl Israel.

10 Felly y dygant eu hanwiredd, un fath fydd anwiredd yr ymofynnudd, ac anwiredd y prophwyd:

(q Mat. 18, 12. 2 Pedr 2, 15. Esra 9. Iago 1, 21. Mat. 8, 10.) 11 [q] Fel na chyfeiliorno tŷ Israel mwy oddi ar fy ôl: ac na haloger hwynt mwy yn eu holl anffyddlondeb, onid byddant i mi yn bobl, minne a fyddaf iddynt hwy 'n Dduw, medd yr Arglwydd Dduw.

12 A gair yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddywedyd,

(r Lef. 26, 26. Esa. 3, 1.) 13 [r] Ha fab dyn, os pecha gwlad trwy wneuthur camwedd i'm herbyn, yna 'r estynnaf fy llaw arni, a thorraf iddi ffon y bara, ac anfonaf arni newyn, fel y torrwyf ymmaith o honi ddyn, ac anifail.

(s Ier. 15, 1. Dan. Iob. Diar. 11, 4.) 14 [s] Pe bydde yn ei chanol y try-wŷr hyn, Noah, Daniel, ac Iob, hwynt yn ei cyfiawnder a achubent eu henaid eu hun, medd yr Arglwydd Dduw.

15 Os bwyst-fil niweidiol a drosclwyddwn i'r tir ai ddifa o hwnnw, fel y bydde yn anrhaith, heb gynniwerydd rhag ofn y bwyst-fil,

16 [Pe bydde] y try-wŷr hyn yn ei ganol, [nid] byw

fi medd yr Arglwydd Dduw os gwaredent feibion, na
merched: hwynt hwy yn unic a waredid, a'r tir a
fydde yn anrhaith.
t Mat. 8 9 17 t Os cleddyf a ddygwn ar y tir hwn, a dywedyd o
Deut. 4 26 honof, Cynniwer gleddyf trwy 'r tir, a thorr ymmaith
Gen. 2 1 o honaw ddyn ac anifail,
18 A'r try-wŷr hyn yn ei ganol, [os] byw fi medd yr
Arglwydd Dduw, ni achubent feibion, na merched:
onid hwynt hwy yn unic a achubid.
u Sal 91.5 19 u Os haint a anfonwn i'r wlad hon, a thywallt o
Gen. 37, 20 honof fy llid arni mewn gwaed, gan dorri ymaith
2 Sam. 24, 15 ddyn, ac anifail,
20 A Noah, Daniel, ac Iob yn ei chanol hi, [nid] byw
fi medd yr Arglwydd Dduw os gwaredent fab, na
merch, hwynt hwy yn eu cyfiawnder a waredent eu
heneidiau eu hun.
v Amos 3, 6 21 v Ac fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Pa
a 4, 10 faint mwy pan anfonwyf fy mhedair ddrygfarn, cledd-
Ex. 5, 5 yf, a newyn, a bwyst-fil newidiol, a haint ar Ierusal-
em i dorri ymmaith o honi ddyn, ac anifail.
w 2 Cron. 36, 20 22 w Etto wele ynddi weddill diangol, y rhai a ddy-
Sal. 119, 37 gir allan yn feibion a merched: wele hwynt yn dyfod
allan attoch, a chewch weled eu ffyrdd hwynt, ai
gweithredoedd, fel yr ymgyssuroch, o herwydd yr
adfyd yr hwn a ddygais ar Ierusalem, sef yr hyn oll a
ddygais arni.
23 Ie cyssurant chwi pan weloch eu ffordd, ai
gweithredoedd, a chewch wybod nad heb achos y
gwneuthum, yr hyn oll a wneuthum i'w herbyn hi,
medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XV.

*Y mae yn cyffelybu Ierusalem i ddiddefnydd goed y winwydden.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddywedyd,
x Deut. 7 7 2 x Ha fab dyn beth yw coed y win-wydden, [fwy]
Hos 9,13 na phob coed [arall, neu] 'r winwŷdd-gainge yr hon
Deut. 1, 31 sydd ym mysc prennau y coed?
y Mat. 5, 13 3 y A gymmerir o honi goed i weithio mewn gwaith,
a gymmerant o honi hoel i grogi un offeryn arni?
Luc 14,35 4 z Wele yn ymborth i'r tân y rhoddir hi, difaodd y
z Ioan 15, tân ei dau gwrr hi, ei chanol a olyscwyd, ac a was-
Marc 3,8 anaetha hi mewn gwaith?
5 Wele pan oedd gyfan ni weithid hi mewn gwaith,
pa faint llai gan ei difa o dân, ai golosci y gweithir hi
etto mewn gwaith?
6 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Megis pren y win-wydden ym mysc prennau y coed yr
hon a roddais yn ymborth i'r tân: felly y rhoddaf drig-
a Lef. 17, 10 olion Ierusalem.
Amos 5, 19 7 a A rhoddaf fy wyneb yn eu herbyn hwynt, o'r
Esa. 24, 18 [naill] dân y deuant, a thân [arall] ai difa hwynt, fel y
gwypoch mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd pan osodwyf
b Luc 13, 9 fy wyneb iw herbyn hwynt.
8 b Rhoddaf hefyd y wlad yn anrhaith, am wneuthur
o honynt gamwedd, medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XVI.

1 *Daioni Duw i Ierusalem.* 15 *ei hanniolchgarwch, ai godduwiaeth hitheu.* 46 *y mae yn cystadlu ag Ierusalem y dinasoedd gwaethaf.* 49 *Achlysur pechod y Sodomiaid.* 60 *Duw yn ei lid yn coffau ei gyfammod am drugaredd.*

WEDI hynny y daeth gair yr Arglwydd attaf gan
ddywedyd,
Tim. 5 2 c Ha fab dyn gwna i Ierusalem adnabod ei ffieidd-dra,
3 A dywet, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw
am Ierusalem: Dy drigfa, a'th enedigaeth [oeddynt]
o wlad Canaan, dy dad [oedd] Amoriad, a'th fam yn
Hitties.
4 d Ac [dymma] dy enedigaeth, ar y dydd i'th anwyd d Ios 21,2
ni thorrwyd dy fogail, ac mewn dwfr ni'th olchwyd Hos. 2,5, 15
yn feddal, ni'th gyweiriwyd ychwaith a halen, ac ni'th Marc 9, 49
rwymwyd a rhwymyn:
5 e Ni thosturiodd llygad wrthit, i wneuthur it un e Rhuf. 8, 7
o hyn, gan drugarhau wrthit: onid ar wyneb y maes Mat. 12,
i'th daflwyd, yn niystyrwch dy einioes, ar y dydd i'th 34
aned.
6 Yna y trammwyais heibio it, ac mi a'th welais yn
ymdrybaeddu yn dy waed, a dywedais wrthit yn dy
waed, Bydd fyw: ie dywedais wrthit yn dy waed,
Bydd fyw.
7 f Yn fyrddiwn i'th roddais fel gwellt y maes: ie ti f Dat. 13, 7
a amlheuir, ac a fawrheuir, ac a ddeui i harddwch Hos. 2,15
mawr, addfedodd dy fronnau, a thyfodd dy wallt, a
thi yn llom, ac yn noeth [o'r blaen.]
8 g A phan drammwyais hebot canfum di, ac wele g Ioan 3, 16
dy amser yn amser serchawgrwydd, yna lledais fy aden Ex. 19. 5
drosot, a chuddiais dy noethni: tyngais hefyd it, ac 1 Pedr 2, 9
euthum mewn cyfammod a thi medd yr Arglwydd
Dduw, felly 'r aethost yn eiddof fi.
9 h Golchais di hefyd mewn dwfr, ie golchais dy h Lef 1,5 Heb 9,1
waed oddi wrthit, ac irais di â olew: 1 Ioan 2 20
10 i Mi a'th wiscais hefyd a gwaith edef a nodwydd, i Eph. 5,
rhoddais it hefyd escidiau o groen daiar-foch: a gwisc- 16
ais di mewn lliain main, a gorchguddiais di a sidan, Can.
11 Felly i'th herddais â harddwch, a rhoddais freich- 1 Cor 11, 5
ledau am dy ddwylo, a chadwyn am dy wddf,
12 Rhoddais hefyd fiswrn ar dy wyneb, a thlysau
wrth dy glustiau: a choron hardd am dy benn.
13 j Felly i'th harddwyd o aur, ac arian, ac i'th wis- 1 Bren. 10, 16
cwyd â lliain main, ac â sidan, ac â gwaith edef a nod- Sal. 48,2
wydd: peillied, a mêl, ac olew a fwyteit, têg hefyd
odieth oeddit, a ffynnaist yn frenhiniaeth.
14 k Aeth allan hefyd it enw ym mysc y cenhedloedd, k 1 Cor. 4, 7
o'th degwch: canys cyflawn oedd, o achos fy hyfryd-
wch yr hwn a osodaswn arnat, medd yr Arglwydd
Dduw.
15 l Yna 'r ymddyriedaist i'th degwch, a phutteiniaist l Deut. 32 15
wrth dy enw: a thywelltaist dy butteindra ar bob cyn- Hos. 1. 2
niwerudd, [dy degwch] oedd eiddo ef. Barn. 2, 17
16 m Cymmeraist hefyd o'th ddillad, a gwnaethost it m Esa. 57 7
uchel-feudd brithion, a phutteiniaist â hwynt, [dy fath]
ni ddeuant, ac ni bydd [dy gyffelyb.]
17 n A chymmeraist offer dy harddwch o'm haur, ac n Hos. 2, 8
o'm harian i y rhai a roddaswn i ti, a gwnaethost it Ex. 32, 2 3
ddelwau gwŷr: a phutteiniaist gyd â hwynt.
18 Cymmeraist hefyd dy wiscoedd o waith edef a 2 Cron. 28 24
nodwydd, ac ai gwiscaist hwynt, fy olew hefyd, a'm
harogl-darth a roddaist oi blaen hwynt.
19 Felly fy mŵyd yr hwn a roddaswn i ti, yn beillied,
ac yn olew, ac yn fêl, [a'r rhai] i'th borthaswn di:
rhoddaist hynny hefyd oi blaen hwynt i fod yn arogl
esmwyth: fel hyn y bu medd yr Arglwydd Dduw.
20 o Cymmeraist hefyd dy feibion, a'th ferched, y o 2 Bren. 16. 3
rhai a blantaasit i mi, a lleddaist hwynt yn fwyd iddynt Sal. 106, 37
hwy: ai bychan [hyn] o'th butteindra?
21 Lleddaist hefyd fy meibion, a rhoddaist hwynt,
gan eu tynnu [trwy 'r tân] iddynt.
22 p A chyd a'th holl ffiaidd-dra, a'th buttein dra, ni p Sal. 3 6, 21
chofiaist ddyddiau dy ieuengtid: pan oeddit lomm, a
noeth, dy fod yn ymdrybaeddu yn dy waed.
23 q A bu ar ol dy holl ddrygioni (gwae, gwae it q Esa. 1, 21 a 3,11
medd yr Arglwydd Dduw)

rLef. 26, 30 24 r Adeiliada o honot ti uchelfa, a gwneuthur it
uchelfa ym mhob heol.
sEsa. 3,9 Diar. 8,2 a 1, 31 25 s Ym mhen pob ffordd yr adailedaist dy uchelfa,
a gwaethost dy degwch yn ffiaidd: canys lledaist dy
draed i bob cynnwerudd, ac amlheaist dy butteindra.
tEsa. 30, 2 26 t Putteiniaist hefyd gyd â meibion yr Aipht, dy
gymmydogion cigog: ac amlheaist dy butteindra i'm
digio.
uEph. 4, 19 27 u Am hynny wele estynnais fy llaw arnat, a phrin-
heais dy rann, a rhoddais di wrth ewyllys dy gaseion
[sef] merched y Philistiaid: y rhai a wradwyddwyd
am dy ffordd sceler.
v 2Bren. 16, 7 2Cron 28 16 28 v Yna y putteiniaist gyd â meibion Assur, o eisieu
dy ddigoni: a hefyd wedi putteinio gyd â hwynt ni'th
ddigonwyd.
29 Onid chwanegaist dy butteindra yng-wlâd Canaan
gyd a'r Caldeaid: ac etto ni'th ddigonwyd yn hyn.
wDiar. 7 26 Ier. 2, 15 30 w Morr llesc yw dy galon medd yr Arglwydd
Dduw, Gan it wneuthur hynny oll: [sef] gwaith put-
tein-wraig aollywodraethus.
xHos. 2, 12 a 8, 9 31 x Pan adailedaist dy uchelfa ym mhenn pob ffordd,
ac y gwnaethost dy uchelfa ym mhob heol, ac nid oeddit
fel puttain yn dirmygu gwobr.
yIer 2,25 2Cor. 11, 2 32 y Ond fel gwraig a dorre ei phriodas, ac a gymmere
ddieithraid yn lle ei gŵr.
Hos. 2,19 zHos 8,9 2Bren. 21 4 33 z I bob puttain y rhoddant wobr, ond ty di a rodd-
aist dy wobr i'th holl gariadau: ac ai gobrwyaist hwynt
i ddyfod attat oddi amgylch yn dy butteindra.
34 Am hynny yr wyt ti yn y gwrthwyneb i wragedd
[eraill] yn dy butteindra, ac ni phutteiniwyd ar dy ôl di:
canys lle y rhoddi wobr, ac ni roddir it, yna 'r wyt yn
y gwrthwyneb.
aDat. 17, 5 35 a Gan hynny O buttain clywair yr Arglwydd,
Ex. 4, 22 a 19, 6 bIer 2,36 a 3, 1 36 b Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Am
dywallt dy frynti, a datcuddio dy noethni yn dy buttein-
dra gyd â'th gariadau, a chyd â'th holl eulynnod ffiaidd:
ie yng-waed dy feibion y rhai a roddaist iddynt:
cDat. 17, 16 Hos. 2,10 Esa. 10,4 Nah. 3,5 37 c Am hynny wele fi yn casclu dy holl gariadau y
rhai y cydiaist â hwynt: ie y rhai oll a geraist, gyd
â'r rhai oll a gaseaist, pan gasclwyf hwynt i'th erbyn
oddi amgylch; yna y dinoethaf dy noethni iddynt, fel
y gwelant dy holl frynti.
dDeut 22 22 Heb. 13,4 Diar. 6, 34 38 d Barnaf di hefyd â barnedigaethau putteiniaid, a'r
rhai a dywalltant waed; a rhoddaf di yn waed llidiawg-
rwydd, ac eiddigedd.
e 1Bren. 14, 23 Hos. 2,3, 9 39 e Ie rhoddaf di yn eu dwylo hwynt, yna y dinistr-
iant dy uchelfannau, a diwreiddiant dy uchel-leoedd;
dioscant di hefyd o'th ddillad, a chymmerant ddodrefn
dy harddwch, ac a'th adawant yn llomm, ac yn noeth.
fHab. 1,8 Deut. 22, 24 40 f Dygant hefyd dyrfa i'th erbyn, ac a'th labydd-
iant â meini, ac âi cleddyfau i'th drywanant.
gMica 3, 12 Galar. 1, 8 41 g Lloscant dy dai â thân, a gwnant arnat farn-
edigaethau yng-olwg gwragedd lawer: felly y gwnaf
it beidio a phutteinio, ac hefyd na roddech wobr mwy.
Esa. 32,9 11 42 Ie llonyddaf fy llid i'th erbyn, a symmudaf fy
h 2 Sam. 21, 14 Ios. 7, 26 eiddigedd oddi wrthit: llonyddaf hefyd ac ni ddigiaf
mwy,
i Sal. 78, 42 1Bren. 14 43 i Am na chofiaist ddyddiau dy ieuengetid, onid
annogaist fi i lid yn hyn oll, am hynny wele myfi a
roddaf dy ffordd ar [dy] benn, medd yr Arglwydd
Diar. 29, 9 Dduw: fel na wnelech yr scelerder hynn, gyd a'th holl
ffieidd-dra
jDat. 17, 5 Deut. 28, 9 44 j Wele pob diharebudd a ddiarheba am danat gan
ddywedyd, Fel y fam y mae yr ferch.
45 Merch dy fam yr hon a ffieiddiodd ei gwr ai meib-
ion [ydwyt] ti: a chwaer dy chwiorydd, y rhai a ffieidd-
iasant eu gwŷr ai meibion [ydwyt] ti: eich mam [sydd]
Hitties, a'ch tâd yn Amoriad.
46 k A'th chwaer hynaf yw Samaria ai merched, yr k Deut. 32, 32
hon sydd yn trigo ar dy law asswy: a'th chwaer Esa. 1,10
ieuangach na thi 'r hon sydd yn trigo ar dy law dde-
hau [yw] Sodoma ar merched.
47 Ac ni rodiaist yn eu ffyrdd hwynt, nid yn ol eu
ffieidd-dra hwynt y gwnaethost, megis ychydig bach
[oedd hynny,] ymlygraist yn fwy na hwy yn dy holl
ffyrdd.
48 l [Nid] byw fi medd yr Arglwydd Dduw, os lMat. 10 15 a 11, 24
gwnaeth Sodoma dy chwaer, hi ai merched, fel y
gwnaethost ti a'th ferched.
49 m Wele hynn oedd anwiredd dy chwaer Sodoma, mIago 4 6
balchder, digonedd bara, ac amlder o seguryd oedd Amos 6,4 6
iddi, ac iw merched, ac ni chryfhaodd hi law yr
anghenog, na 'r tlawd. 2Thes. 2 11
50 Onid ymdderchafsant, a gwnaethant ffiaidd-dra
o'm blaen, am hynny y symmudais hwynt fel y gwelais
yn dda.
51 n Samaria hefyd ni phechodd fel hanner dy bech- n 1Bren. 12 28
od ti, canys amlheaist dy ffieidd-dra yn fwy na hwynt, Hos. 3,1, 2
a chyfiawnheaist dy chwiorydd yn dy holl ffieidd-dra y
rhai a wnaethost. Mat. 12, 41, 42
52 o Dwg dithe dy wradwydd, (yr hon a fernaist ar oGalar. 4 6
dy chwaer) am dy bechod [yn] yr hwn y buost ffieidd- Esa. 5,2,3
iach na hwynt; cyfiawnach ydynt na thi; cywilyddia
dithe, a dwg dy wradwydd, gan gyfiawnhau o honot
dy chwiorydd.
53 Pan ddychwelwyf eu caethiwed hwynt, sef caeth-
iwed Sodoma ai merched, a chaethiwed Samaria ai
merched; yna y [dychwelaf] gaethiwed dy gaethion
dithe, a'th ferched,
54 Fel y dygech dy warth, ac i'th wradwydder,
am yr hyn oll a wnaethost, gan gyssuro o honot hwynt.
55 Dy chwiorydd hefyd ai Sodoma, merched pan
ddychwelant iw cynnefyn, a Samaria ai merched pan
ddychwelant iw cynnefyn: yna tithe a'th ferched a
ddychwelwch i'ch cynnefyn.
56 Canys nid oedd mo 'r sôn am Sodoma dy chwaer
yn dy enau, yn nydd dy falchder.
57 p Cyn dinoethi dy ddrygioni, megis [yn] amser p 2Cron. 28, 18,19
gwradwydd merched Syria, a holl ferched y Philistiaid 1Sam. 2,
oi hamgylch: y rhai a'th ddiystyrant di o bob parth. 30
58 Dy scelerder, a'th ffieidd-dra hefyd, ti ai dygaist Sal. 107,
hwynt medd yr Arglwydd. 40
59 q Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, qSal. 71, 37
Felly y gwnaf â thi fel y gwnaethost, yr hon a ddi- Deut. 27,
ystyraist lŵ, i ddiddymmu y cyfammod. 15
60 r Etto mi a gofiaf fyng-hyfammod â thi, yn nydd- rSal. 114, 12
iau dy ieuengctid, ac a sicrhaf it gyfammod tragy- Heb 8 10
wyddol.
61 s Yna y coffei dy ffyrdd, ac y cywilyddi pan sCan 8 8
dderbynniech dy chwiorydd hŷn na thi, gyd â'r rhai Gal. 4 26
ieuangach na thi: canys rhoddaf hwynt yn ferched a 4 24
it, a [hynny] nid o'th ammod ti.
62 t Ie, sicrhaf fyng-hyfammod â thi, a chei wybod tHos. 2 19
mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd. Ioan 7 17
63 u Fel y cofiech di, ac y cywilyddi, ac na byddo uIoan 2 2
it mwy agorid safn gan dy wradwydd, pan wnelwyf
iawn trosot am yr hyn oll a wnaethost medd yr Ar-
glwydd Dduw.

## PEN. XVII.

*Dammeg y ddau eryr.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddy-
wedyd,

vMat. 13 hareb wrth dŷ Israel:
13 3 ʷ A dywet, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd
wDan. 3 Dduw, Yr eryr mawr, mawr ei adenydd, hir ei ascell,
3 a 4,1 22 llawn plû, yr hwn [y mae] symmud-liw iddo a ddaeth
2Bren 24 12 i Libanus, ac a gymmerth frigin y cedr-wydden.
Amos2 9 4 ˣ Torrodd frig ei blagur hi, ac ai dug i dir march-
x2Bren. 24 12 nadyddion, yn ninas marchnadyddion y gosododd ef.
Dat. 18 5 ʸ A chymmerth o hâd y tir, ac ai rhodd mewn
11 maes ffrwythlon: cymmerodd, a gosododd ef wrth
y Sal. 75 6 ddyfroedd lawer, [fel] helygen.
a 113,8 6 ᶻ Yna y tyfodd ac yr aeth yn win-wydden wascaroc,
Esa 5 1 2 zIer.20 3 issel o dŵf, ai changau yn troi atti: ai gwraidd oedd-
ynt tani: felly yr aeth yn win-wydden, ac y dug
geingciau, ac y bwriodd frig.
7 ᵃ Yr oedd hefyd ryw eryr mawr, ascelloc, a phluoc,
a2 Bren 20 14 ac wele y win-wydden hon yn casclu ei gwraidd atti,
Ier. 52 3 ac yn bwrw ei cheingciau tu âg atti: iw dwfrhau o
2Cron 36 23 rigolau ei phlanniad.
8 Mewn maes da wrth ddyfroedd lawer y plannasid
hi, i fwrw brig, ac i ddwyn ffrwyth gan fod yn win-
wydden ardderchoc.
9 ᵇ Dywet, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, A
bEsa 8 10 lwydda hi? oni rwyga efe ei gwraidd hi? oni thyrr,
Ier. 35 5 2Bren 25 7, 18 ac oni sych efe ei ffrwyth hi? sychodd holl ddail ei
brig, a [hynny] nid trwy fraich mawr, na thrwy bobl
Ier. 39,6 lawer, iw thynnu hi oi gwraidd.
10 ᶜ Gan hynny wele hi wedi ei phlannu, a lwydda
cGen. 41 6 hi? gan ŵywo, oni ŵywa pan gyffyrddo gwynt y
Hos. 13, 15 dwyrain â hi? yn rhigolau eu thŵf y gwywa.
11 Daeth hefyd gair yr Arglwydd attaf gan ddywedyd;
Ier.22 17 12 Dywet yr awr hon wrth y tŷ anufuddgar, oni
ŵyddoch beth [yw] hynny? dywet, Wele daeth brenin
Babilon i Ierusalem, ac efe a gymmerodd ei brenin hi,
ai thywysogion, ac ai dug hwynt atto ef i Babilon:
13 ᵈ Ac a gymmerodd o hâd y frenhiniaeth, ac a
d 1Cron. 3 15 wnaeth ag ef gyfammod, ac ai dug ef tann lw: cym-
2Cron.36 13 merodd hefyd gedyrn y wlâd,
14 Fel y bydde y deyrnas yn issel, heb ymdderchafu,
i sefyll o honi trwy gadw ei gyfammod ef.
15 ᵉ Onid gwrthryfelodd iw erbyn gan anfon ei gen-
e Esa. 31 1 nadau i'r Aipht, i geisio iddo feirch, a phobl lawer:
2Cron 28 a lwydda, ac a ddiangc yr hwn a wnelo hynn? ac a
ddiangc efe gan ddiddymmu o honaw ef gyfammod?
Sal. 15 4 16 ᶠ [Nid] byw fi medd yr Arglwydd Dduw, onid
35 23 Preg. 8 yng-hartref y brenin yr hwn ai gwnaeth ef yn frenin,
2Bren 25 7 (yr hwn y diystyrodd efe ei lŵ, a'r hwn y diddym-
modd efe ei gyfammod) y bydd efe marw yng-hanol
Babilon gyd ag ef.
Iago 4 2 17 ᵍ Ac ni wna Pharao [ddim] gyd ag ef mewn rhyfel,
wrth godi clawdd, ac wrth adeiladu castell, i dorri
ymmaith lawer enioes.
2Cron. 36 18 ʰ Gan ddiystyru o honaw lw, gan ddiddymmu y
cyngrair (canys wele efe a roddase ei law) a gwneuth-
ur o honaw hynny oll ni ddiangc.
Hos 9 10 Sam. 21 19 ⁱ Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
[Nid] byw fi onid fy llw maufi yr hwn a ddiystyrodd
efe, a'm cyfammod maufi yr hwn a ddiddymmodd efe
a roddafi ar ei benn ef.
Sam.18 20 ʲ Canys tanaf fy rhwyd arno ef, fel y dalier ef yn
s 10 16 fy rhwyd, a dygaf ef i Babilon, ac yna yr ymddadleuaf
âg ef [am] ei gamwedd yr hwn a wnaeth i'm herbyn.
21 Ai holl ffoaduriaid oi holl luoedd a syrthiant ar
Esa 11 y cleddyf, a'r lleill a wascerir gyd â phob gwynt: fel
y gwypoch mai myfi'r Arglwydd ai lleferais.
c 3 8 1 2 6 22 ᵏ Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Etto mi
at 1 3 1 a gymmeraf frig y cedr-wydden uchel, ac ai gosodaf:

o frig ei blagur y torraf [un] tyner, ac mi ai plannaf
ar fynydd uchel, a mawr.
23 ˡ Ar uchel fynydd Israel y plannaf ef, fel y dycco lSal.72 12
frig, ac y gwnelo ffrwyth, ac y byddo yn cedr-wydden Ier 23 5
ardderchoc: yna pob aderyn a drigant tani hi, pob Dat 11 15
ehediad dan gyscot ei cheingciau. Esa 60 8
24 ᵐ Fel y gwypo holl brennau 'r maes, mai myfi 'r mSal9 16
Arglwydd a ostyngais y prenn uchel, ac a dderch- Dan2 44
efais y prenn issel, a sychais y prenn ir, ac a ireiddiais Luc 1 52
y prenn crin: myfi 'r Arglwydd a leferais ac a
wneuthum.

## PEN. XVIII.

*Pawb a fernir yn ol ei weithredoedd ei hun. 21 Ac wrth ei ddydd diwedd.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddywedyd,
2 ⁿ Pa ham gennych ddiharebu o honoch y ddi-
hareb hon am dir Israel gan ddywedyd, Y tadau a n Rhuf 2 20
fwyttasant rawn-win surion, ac ar ddanedd y plant Sal. 145,
y mae dingcod. 15
3 [Nid] byw fi medd yr Arglwydd Dduw, os bydd i
chwi mwy ddiharebu y ddihareb hon yn Israel.
4 ᵒ Wele'r holl eneidiau eiddo fi [ydynt] hwy, fel
enaid y tad felly enaid y mab eiddo fi [ydynt] hwy: yr oRhuf.2, 13
enaid a becho hwnnw a fydd marw. Hos 9,11
5 ᵖ Canys os bydd gŵr yn gyfiawn, ac yn gwneuthur Rhuf. 6, 23
barn, a chyfiawnder: pMica 6 8
6 ᵠ Heb fwytta ar y mynyddoedd, na chyfodi ei
lygaid at eulynnod tŷ Israel, ac heb halogi gwraig ei q Num. 25, 1, 2
gymmydog, na nessau at wraig fisglwyfol: Heb.13,4
7 ʳ Hefyd ni orthrymma neb, gwystl y dyledwr a
rydd yn ei ol, ni threisia drais, ei fara a rydd i'r newyn- rNeh.5 7
oc, ac a ddillada y noeth: Ex.22 26 Esa.58,7
8 ˢ Ni rydd ar usuriaeth, ac ni chymmer ychwaneg,
ei law a dynnodd yn ei hol oddiwrth anwiredd, gwir sSal. 15,5
farn a wna rhwng gwr a gwr: 1Sam. 22 17
9 ᵗ Yn fy neddfau y rhodia, a'm barnedigaethau a
geidw, gan gwneuthur gwirionedd, y cyfiawn hwnnw tIoan3,21
gan fyw fydd byw, medd yr Arglwydd Dduw.
10 ᵘ Os cenhedla efe fab yn lleidr, [ac] yn tywallt
gwaed: ac a wna [ai] frawd yn erbyn un o hyn: uSal 55, 23
11 Ac ni wna efe hyn oll, onid ar y mynyddoedd y Num.35, 31
bwyttu, a gwraig ei gymmydog a haloga:
12 Yr anghenus a'r tlawd a orthrymma, trais a dreisia,
gwystl ni rydd drachefn: neu at eulynnod y cyfyd
ei lygaid, gan wneuthur ffieidd-dra:
13 ᵛ Ar usuriaeth y rhydd, ac ychwaneg a gymmer.
gan hyny a fydd efe byw? ni bydd byw: gwnaeth yr vEx. 22, 25
holl ffiaidd-dra hyn, gan farw y bydd efe farw, ei waed Lef. 20,9
a fydd arno ei hun.
14 ʷ Ac wele cenhedlodd fab, yntef a wêl bechod-
au ei dâd, ac a ofna, ac ni wna felly: wPreg.5
15 Ar y mynyddoedd ni fwyttu, ai lygaid ni chyfyd 8' 13, 18 a 6, 1
at eulynnod tŷ Israel, ni haloga wraig ei gymmydog: Sal. 119,
16 Ni orthrymma neb ychwaith, ni attal efe wystl, 59 Hos. 7, 2
ac ni threisia drais, ei fara a rydd i'r newynoc, a'r 1Pedr 1,
noeth a ddillada efe: 18
17 [Ni] thrŷ ei law oddi wrth yr anghenoc, usuriaeth,
na llôg ni chymmer, fy marn a wna, yn fy neddfau y
rhodia, hwnnw ni bydd farw am anwiredd ei dad, gan
fyw y bydd efe byw.
18 ˣ Ei dâd am gam attal attaliaeth, a threisio trais,
[oddi ar ei] frawd, a gwneuthur yr hyn nid oedd dda xDiar,14 5
ym mysg ei bobl: am hynny wele ef yn marw yn ei
anwiredd.
19 ʸ A chwi a ddywedwch, Pa ham na ddwg y mab yLef. 5,1
2 ʸ Mab dyn, dammega ddammeg, a dihareba ddi- Sal. 31,14 a 41, 7

yr oedd yn dy farchnad y Cassia, a'r Calamus.
20 Dedan oedd dy farchnadudd mewn gwiscoedd
gwerth-fawr am gerbydau.
e 2Cron. 21 e Yr Arabiaid, a holl dywysogion Cedar [oeddynt]
17, 11 hwythau farchnadyddion dy law, am wyn, hyrddod,
Gen. 25, 13 a bychod, o'r rhai hynny [yr oedd] dy farchnadyddion.
f Gen. 10, 22 f Marchnadyddion Seba, a Rama, hwythau [oedd-
7 Sal. 72, 10 ynt] dy farchnadyddion: marchnattasant [yn] dy ffeiriau, am bob pryf bêr-aroglau, ac am bob maen gwerth-fawr, ac aur.
g Gen. 11, 31 23 g Haran, a Channe, ac Eden, marchnadyddion
Act 7, 4 Seba, a Syria, a Chelmad [oeddynt] yn marchnatta
Gen. 10, 10 [â] thi.
Iob 1, 15 24 Dymma dy farchnadyddion, am bethau perffaith,
Gen. 10, 28 am wiscoedd o sidan glâs, a gwaith edef a nodwydd,
Esa. 5, 10 ac am gistiau gwiscoedd gwerth-fawr, wedi eu rhwymo â rhaffau: ai gweithio â chedr-wydd yng-hylch dy farchnadaeth.
25 Llongau Tharsis oeddynt bennaf yn dy farchnad, felly i'th lanuwyd, ac y trwmheaist yn odieth yng-hanol y môr.
h Esa. 10, 13 26 h Y rhai a'th rwyfasant, a'th ddugasant i ddyfr-
Sal. 48, 7 oedd lawer: gwynt y dwyrain a'th ddrylliodd yng-hanol y mor.
i Dat 18, 9 27 i Dy olud, a'th ffeiriau, dy farchnadaeth, dy for-
Diar. 11, 4 wyr, a'th feistred llongau, cadarnhauwyr dy rwygiadau, a marchnadwyr dy farchnad, a'th ryfel-wyr oll, y rhai [ydynt] ynot, a'th holl gynnulleidfa, yr hon [sydd] yn dy ganol di, a syrthiant yng-hanol y môr ar ddydd dy gwymp di.
28 Wrth lêf gwaedd dy feistred llongau, y tonnau a gyffroant.
29 Yna pob rhwyf-wr, y mor-wyr, holl lywyddion y moroedd a ddescynnant oi llongau, [ac] ar y tir y safant.
j Dat. 18, 11 30 j Llefant hefyd am danat, a gwaeddant yn chwerw,
a 18, 19 a chodant lwch ar eu pennau, ac ymlutrodant mewn lludw.
k Iea. 15, 2 31 k Moelant hefyd foelni am danat, ac ymwregys-
2 Sam. 1, 2 ant â sach-liain, wylant hefyd am danat chwerw alar mewn chwerw feddwl.
l Dat. 18, 18 32 l A chodant am danat ti alar-nad yn eu cwynfan, a galarant am danat [gan ddywedyd,] Pwy [oedd] fel Tyrus, fel yr hon a dorrwyd yng-hanol y môr?
m Dat. 18, 3, 14 33 m Pan ddele dy ffeiriau o'r moroedd, diwallaist bobloedd lawer: âg amlder dy olud, a'th farchnadoedd y cyfoethogaist frenhinoedd y ddaiar.
n Esa. 8, 7 34 n Y pryd i'th dorrwyd gan y môr i ddyfnderau y
a 23, 3 dyfroedd, dy farchnad, a'th holl gynnulleidfa a syrthiasant yn dy ganol.
o Dat. 18, 9 35 o Holl bresswyl-wyr yr ynysoedd, a ryfeddasant am danat, ai brenhinoedd a ddychrynasant ddychryn: [ac] a grynasant wynebau.
p Mat. 7, 13 36 p Y marchnadyddion ym mysc y bobloedd a chwi-
Diar. 17, 5 banasant am danat, dychryn ydwyt: canys ni [byddi]
Dat 18, 21 byth.

## PEN. XXVIII.

*Prophwydoliaeth yn erbyn Tyrus, ai brenin. 20 Ac yn erbyn Sidon. 25 Duw yn addo ail gasclu'r Israeliaid.*

WEDI hynny y daeth gair yr Arglwydd attaf gan ddywedyd,
q Diar 18, 12 2 q Ha fab dyn dywet wrth dywysog Tyrus, Fel hyn
Act 12, 22 y dywedodd yr Arglwydd Dduw, Am falchio dy gal-
2 Thes. 2, 4 on, a dywedyd, Duw [ydwyf] fi, presswylio 'r ydwyf
Esa. 31, 3 eisteddfa Dduw yng-hanol y môr, a thi yn ddyn, ac
nid yn Dduw, er rhoddi o honot dy galon fel calon Duw,
3 r Wele di yn ddoethach na Daniel, ni chuddir dim r Zec. 9, 2
dirgelwch oddi wrthit. 1 Cor. 8, 2
4 s Trwy dy ddoethineb, a'th ddeallgarwch y dar- s Diar. 10, 4
peraist gyfoeth it, ie y darperaist aur, ac arian yn dy dryssorau.
5 t O amlder dy ddoethineb yn dy farchnadaeth yr t 2Cron.
amlheaist dy gyfoeth, a'th galon a falchiodd o her- 25, 19
wydd dy gyfoeth.
6 u Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, u Esa. 2, 11
Am osot o honot dy galon fel calon Duw: Act. 5, 35
7 O herwydd hynny wele fi yn dwyn i'th erbyn gedyrn ddieithriaid y cenhedloedd, a thynnant eu cleddyfau ar degwch dy ddoethineb: ac halogant dy loiwder.
8 v Descynant di ir ffôs, a byddi farw yng-hanol y v Diar 23, 17
môr, o farwolaeth [un] archolledic.
9 w Gan ddywedyd a ddywedi o flaen dy leiddiad, w Sal. 9,
Duw [ydwyf] fi, a thi yn ddyn ac nid yn Dduw yn 10 a 83, 17
llaw dy archolludd?
10 x Byddi farw o farwolaeth y dienwaededic, yn x 1 Sam.
llaw dieithriaid, canys myfi ai dywedais, medd yr Ar- 17, 26
glwydd Dduw. Eph 2, 12
11 Gair yr Arglwydd a ddaeth attaf trachefn gan ddywedyd,
12 Cyfot fab dyn alar-nad a'm frenin Tyrus, a dywet wrtho ef, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, ti seliwr nifer, llawn o ddoethineb, a chyflawn o degwch:
13 y O fewn Eden gardd Dduw'r oeddit, pob maen y Mat. 6, 32
gwerth-fawr a'th orchguddie di: Sardius, Tophas, ac Sal. 4, 6, 7
Adamant, Turcas, Onix, ac Iaspis: Saphir, Rubi, Smaragdus hefyd, ac aur: gwaith dy dympanau, a'th bibellau a baratoiwyd ar y dydd i'th greuwyd.
14 z Cerub eneinioc [oeddit] ti yn gorchguddio, felly z Dan. 2,
i'th roddaswn: oeddit yn sanctaidd fynydd Duw: 21 Sal. 75, 6
ymroddit yng-hanol cerig tanllyd. Diar 8, 15
15 a Perffaith [oeddit] ti yn dy ffyrdd, er y dydd i'th a Diar. 14,
grewyt hyd oni chaed ynot anwiredd. 34
16 b Yn amlder dy farchnadaeth y llanwasant dy Ier 2, 20 Sal. 36, 3
ganol â thrais, fel y pechaist: am hynny i'th archoll- b Esa. 23, 8
af o fynydd Duw, ac i'th ddifethaf di Gerub yn gorch- Diar. 10,
guddio, o ganol y cerric tanllyd. 10
17 c Balchiodd dy galon yn dy degwch, llygraist dy 2Pedr 2,
ddoethineb o herwydd dy loiwder: bwriais di i'r llawr c Diar. 11, 2
o flaen brenhinoedd i'th osodais i graffu arnat. Iago 4, 6
18 d O amlder dy anwiredd, y llygraist dy gyssegr 2Pedr 2, 6
âg anwiredd dy farchnadaeth: am hynny y dygais d Diar. 16,
dân allan o'th ganol, hwnnw a'th yssodd: a rhoddais 18
di yn lludw ar y ddaiar, yng-olwg pawb a'r a'th wel- Iob 30, 8
ant.
19 e Y rhai a'th adwaenent oll ym mysc y cenhedl- e Sal. 76,
oedd a ryfeddant wrthit: dychryn fuost ond ni [phar- 12
hei] di hyd byth.
20 Yna gair yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddywedyd,
21 f Gosot fab dyn dy wyneb yn erbyn Sidon: a f Gen. 10,
phrophwyda am dani. 15 Ier. 25, 22
22 g A dywet, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd g Dat. 19,
Dduw: Wele fi i'th erbyn Sidon, fel im gogonedder 1, 2 Ex. 14, 4
yn dy ganol, ac y gwypont mai myfi [ydwyf] yr Ar- a 15, 1
glwydd: pan wnelwyf ynot farnedigaethau, ac ym- Esa. 5, 16 Sal. 9, 15
sanctaiddio o honof ynot. a 83, 17, 18
23 Canys anfonaf arni haint, a gwaed iw heolydd: fel y barner yr archolledic oi mewn â'r cleddyf [yr hwn fydd] yn ei herbyn oddi amgylch: a chant wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.

hZec.14, 21 24 [h] Ac ni bydd mwy i dŷ Israel [un] o'r holl rai ai
Ios 23,13 dirmygant oi hamgylch, yn spyddaden bigog, nac yn
Can. 2, 2 ddraenan ofidus, fel y gwypont mai myfi [ydwyf] yr
Arglwydd.
iRhuf.11 26 25 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, pan gascl-
Hos. 3,5 wyf dŷ Israel o fysc y bobloedd, y rhai y gwascarwyd
Esa.11,12 hwy yn ei plith, ac yr ymsancteiddiwyf ynddynt yng-
olwg y cenhedloedd: yna y trigant yn eu gwlad eu
hun, yr hon a roddais i'm gwas Iacob.
jAmos 9, 13 26 [j] Ie trigant ynddi yn ddiogel, ac adeiladant dai, a
Esa. 5,10 phlannant winllanoedd, a phresswyliant mewn diogel
Dat. 18, 20 wch: pan wnelwyf farnedigaethau ar y rhai oll ai dir-
mygant hwy oi hamgylch, fel y gwypont mai myfi
[ydwyf] yr Arglwydd eu Duw hwynt.

## PEN. XXIX.

*Prophwydoliaeth yn erbyn yr Aipht. 13 Amser ei hymwared hi. 20 Nabuchodonosor yn cael yr Aipht yn wobr am ei waith yn cospi Tyrus.*

YN y decfed [mis] o'r ddecfed flwyddyn ar y deu-
ddecfed [dydd] o'r mis, y daeth gair yr Ar-
glwydd attaf gan ddywedyd,
kIer.1,17 18 2 [k] Gosot fab dyn dy wyneb yn erbyn Pharao brenin
Esa.19,1 yr Aipht, a phrophwyda yn ei erbyn ef, ac yn erbyn
yr Aipht oll.
l Sal. 74, 13 3 [l] Llefara, a dywet, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw: Wele fi i'th erbyn Pharao brenin yr Aipht, y
morfil mawr, yr hwn sydd yn gorwedd yng-hanol ei
afonydd, yr hwn a ddywedodd, Eiddo fi fy afon, canys
mi ai gwneuthum i mi.
mEsa. 37 29 4 [m] Eithr gosodaf fachau yn dy fochgernau, a gwnaf i
byscod dy afonydd lynu yn dy emmau, a chodaf di o
ganol dy afonydd, ie holl bysc dy afonydd a lynant
yn dy emmau.
nSal.74, 14 5 [n] A gadwaf di yn yr anialwch, ti a holl byscod dy
2Sam.13, afonydd, syrthi ar wyneb y maes, ni'th geslir, ac ni'th
17 gynhullir: i fwyst-filod y maes, ac i ehediaid y nef-
Sal.110,5 6 oedd i'th roddais yn ymborth,
oSal.9.16 6 [o] Yna holl drigolion yr Aipht a gaffant wybod mai
2Bren.18 21 myfi [ydwyf] yr Arglwydd: am eu bod hwynt yn
Esa. 31.3 ffon gorsen i dŷ Israel.
Galar. 4, 17 7 [p] Pan ymaflant ynot â llaw, drylli di, a rhwygi
pIer. 37, 5 iddynt hwythau bob yscwydd: a phan bwysant arnat,
torri, er siccrhau o honot iddynt [dy] holl nerth.
Esa. 30,1 8 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Wele fi yn dwyn arnat gleddyf, a thorraf ymmaith o
honnot ddyn, ac anifail.
9 Yna y bydd tir yr Aipht yn ddinistr, ac yn anrhaith,
a chant wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd: am
ddywedyd, Eiddo fi yr afon, ac myfi ai gwneuthum.
qDat.18, 2 10 [q] Am hynny wele fi attat, ac at dy afonydd, a
Ier.50,39 gosodaf dir yr Aipht yn ddiffaethwch anrhaithiedic
[ac] yn ang-hyfannedd: o dŵr Sefeneh, hyd yn nherfyn
Ethiopia.
rIer.17.6 11 [r] Ni chynniwer troed dyn trwyddi, ac ni chyn-
a 46, 26 niwer troed anifail trwyddi, ac ni's cyfanneddir ddeu-
Esa. 23, 15 gain mhlynedd.
Dan 9,21 12 [s] Canys rhoddaf dir yr Aipht yn ang-hyfanedd
s Dan. 2, 36 yng-hanol tiroedd ang-hyfanneddol, ai dinasoedd
Ier. 25, 9 fyddant yn ang-hyfannedd ddeugain mhlynedd yng-
hanol dinasoedd anrhaithiedic: pan wascarwyf yr
Aiphtiaid ym mysc y cenhedloedd, a phan danwyf
hwynt ar hyd y gwledydd.
tEsa. 19, 23 13 [t] Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Ier.46,25 Ym mhen deugain mhlynedd y casclaf yr Aiphtiaid
o fysc y bobloedd, y rhai y gwasgarwyd hwynt attynt.
uEsa. 19, 23 14 [u] A dychwelaf gaethiwed yr Aipht, ie dychwelaf
hwynt i dir Pathros, i dir eu presswylfa: ac yno y
byddant yn frenhiniaeth issel.
15 [v] Issaf fydd o'r brenhiniaethau, ac nid ymdderch- vDan. 2,
yf mwy ar y cenhedloedd, canys lleihâf hwynt rhag 37
arglwyddiaethu ar y cenhedloedd.
16 [w] Ac ni bydd hi mwy i dŷ Israel yn ddiogelwch wEsa. 30
yn coffau anwiredd, pan droant hwy ar eu hol hwythau 1
eithr cant wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd 2Cron 16
Dduw. 7
17 Yn y [mis] cyntaf, o'r seithfed flwyddyn ar hug-
ain, ar y [dydd] cyntaf o'r mis y daeth gair yr Ar-
glwydd attaf gan ddywedyd,
18 Ha fab dyn, Nabuchodonosor brenin Babilon a
gynniwerodd ai lu mewn gwasanaeth mawr yn erbyn
Tyrus: pob pen a foelwyd, a phob yscwydd a ddi-
noethwyd, ond nid oedd gan Dyrus gyflog iddo ef, ac
iw lu, am y gwasanaeth yr hwn a wasanaethodd efe
yn ei herbyn hi.
19 [x] Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw: xDan. 2,
Wele fi yn rhoddi tir yr Aipht i Nabuchodonosor 37
brenin Babilon, ac efe a gymmer ei gweryn hi, ac a Amos 3,
yspeilia ei hyspail hi, ac a ysclyfaetha ei ysclyfaeth hi, 7
fel y byddo yn gyflog iw lû.
20 [y] [Am] ei waith yr hwn a wasanaethodd efe ynddi, yEsa.19
y rhoddais iddo dir yr Aipht, o herwydd i mi y 6
gweithiasant medd yr Arglwydd Dduw. Ier.15,9
21 [z] Yn y dydd hwnnw y gwnaf i gorn tŷ Israel zEsa 5,15
flaguro, a rhoddaf i tithe hyfder ymadrodd: fel y a 10, 26
gwypont mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd. Sal.51,16
Amos 5,
15

## PEN. XXX.

*Galar-nad am ddinistr yr Aipht ai dinasoedd.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddy-
wedyd,
2 [a] Prophwyda fab dyn a dywet, Fel hyn y dywed aDat.18,
yr Arglwydd Dduw: Udwch Och rhac heddyw. 10
3 [b] Canys agos dydd, ie agos dydd yr Arglwydd: Esa. 65,
dydd cwmyloc, amser y cenhedloedd fydd efe. 14
4 [c] A'r cleddyf a ddaw i'r Aipht, a bydd gofid yn Dat.6,17
Ethiopia, pan syrthio yr archolledic yn yr Aipht, a bHeb.10
chymmeryd o honynt ei gweryn hi, a dinistrio ei 37
seiliau. Ioel 3,11
Dat. 14,
15
Ier 25,15
cSal 11,5
5 Ethiopia, a Libia, a Lidia, ai gweryn oll, Chub
hefyd, a meibion tir y cyfammod a syrthiant gyd â
hwynt ar y cleddyf.
6 [d] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Attegion yr Aipht dIob9,13
a syrthiant hefyd: a balchder ei nerth hi a ddescyn, Dat.18,7
syrthiant ynddi ar y cleddyf o dŵr Sefeneh, medd yr
Arglwydd Dduw.
7 A hwynt a wneir yn anghyfanedd ym mhlith
gwledydd anghyfanneddol, ai dinasoedd fyddant yng-
hanol dinasoedd anrhaithiedic.
8 [e] A chânt wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd, eDat 18,
pan roddwyf dân yn yr Aipht, ac y torrer eu holl 19, a
gymmorth hwynt.
9 [f] A'r dydd hwnnw cennadau a ânt allan o'm blaen f1Thes.5
mewn llongau i ddychrynnu Ethiopia ddiofal, yna y 3
bydd gofid arnynt fel [yn] nhir yr Aipht: canys wele Sal. 48,6
ef yn dyfod. Mal. 4,1
10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Yna y
gwnaf i weryn yr Aipht ddarfod trwy law Nabuchod-
onosor brenin Babilon.
11 [g] Efe ai bobl gyd ag ef, [sef] cedyrn y cenhedl- g 1 Sam.
oedd a ddygwyd i ddifetha'r tir: am hynny tynnasant 15, 2
eu cleddyfau ar yr Aipht, a llanwasant y wlâd â Dat. 6,8
chelanedd. Sal. 75,7
bDat.18,
12 [h] Rhoddaf hefyd yr afonydd yn sychder, a gwerth- 12
Sal.37,35

af y wlâd i law rhai drygionus, ïe dinistriaf y wlad ai
chyflawnder trwy law dieithriaid: myfi'r Arglwydd
[ai] dywedodd.
13 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Yna y
difethaf y delwau, a gwnaf i'r eulynnod ddarfod o
Noph, ac ni bydd tywysog mwyach o dir yr Aipht:
eithr ofn a roddaf ar dir yr Aipht.
i Nah.3,8 14 [i] Pathros hefyd a ddinistriaf, a rhoddaf dân yn
Zoan: a gwnaf farnedigaethau yn No.
j Dat.16,1 15 [j] A thywalltaf fy llid ar Sin, cryfder yr Aipht:
Sal. 11,6 ac mi a dorraf ymmaith weryn No.
k Amos 1 4,7 16 [k] Pan roddwyf dân yn yr Aipht, gan ofidio y
gofidia Sin, a No fydd iw rhwygo, felly Noph [gan]
elynnion beunyddol.
17 Gwŷr ieuaingc Afen, a Phibeseth a syrthiant ar
y cleddyf, ac wele mewn caethiwed yr ânt hwythau.
l Ier.2,16 18 [l] Ac ar Tehaphnehes y tywylla y diwrnod, pan
dorrwyf yno drossolion yr Aipht: a balchder ei chryf-
der a dderfydd ynddi: cwmwl ai cuddia hi, ai merch-
ed a ânt mewn caethiwed.
m Amos 4,12 19 [m] Felly y gwnaf farnedigaethau ar yr Aipht, fel
Sal. 10,16 y gwypont mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.
20 Ac yn y [mis] cyntaf o'r unfed flwyddyn ar ddec
ar y seithfed [dydd] o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd
attaf gan ddywedyd,
n Ier. 46,11 21 [n] Ha fab dyn, drylliais fraich Pharao brenin yr
Dan. 2,35 Aipht: ac wele ni's rhwymir, i roddi meddiginiaeth-
Mat.3,10 au [wrtho,] gan osod rhwymyn i rwymo, er ei gryf-
Dat.18,21 hau i ymaflyd mewn cleddyf.
Sal.37,36
Esa. 27,7 22 [o] A hynny fel hynn y dywed yr Arglwydd Dduw,
o Sal. 37,17 a 76,3 Wele fi yn erbyn Pharao brenin yr Aipht, ac mi a
dorraf ei fraich ef, yr hwn oedd gryf, ac y sydd ddryll-
iedic, ac a wnaf i'r cleddyf syrthio oi law ef.
23 Yna y gwascaraf yr Aiphtiaid ym mysc y cenhedl-
oedd, ac mi ai tanaf hwynt ar hyd y gwledydd.
p Esa.45,1 24 [p] Ac mi a gadarnhaf freichiau brenin Babilon, a
Esa. 10,5 rhoddaf fyng-hleddyf yn ei law ef: a thorraf freich-
Ier. 47,6 iau Pharao, fel y llefo â llef un archolledic oi flaen ef.
Iuber.4,12
q Sal 9,16 25 [q] Ie cadarnhâf freichau brenin Babilon, a breich-
Esa. 26,11 iau Pharao a syrthiant, fel y gwypont mai myfi [ydwyf]
Sal 83,18 yr Arglwydd, wedi i mi roddi fyng-hleddyf yn llaw
brenin Babilon, ac iddo yntef ei estyn ef ar wlad yr
Aipht.
r Sal.68,1 26 [r] Felly y gwascaraf yr Aiphtiaid ym mysc y cen-
hedloedd, ac y tanaf hwynt ar hyd y gwledydd: fel
y gwypont mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.

## PEN. XXXI.

*Y mae yn dangos mai cyffelyb lwyddiant fuase: ac mai cyffel-yb ddinistr fydde i'r Assyriaid ac i'r Aiphtiaid.*

AC yn y trydedd [mis] o'r unfed flwyddyn ar ddêc,
ar y [dydd] cyntaf o'r mis y daeth gair yr Ar-
glwydd attaf gan ddywedyd,
s Dat. 18, 2 [s] Dywet fab dyn wrth Pharao frenin yr Aipht, ac
wrth ei weryn, I bwy yr ydwyt tebyg yn dy fawredd?
t Esa.14,13 3 [t] Wele Assur yn gedr-wydden yn Libanus yn deg
Dan. 4, ei cheingciau, ai brig yn cyscodi, ac yn uchel ei huch-
Sal.78,72 ter, ai brigin oedd rhwng y tew-frig.
u Dat.17, 4 [u] Dyfroedd ai maethase hi, y dyfnder ai derchafase,
Diar. 14, gan fyned oi hafonydd o amgylch ei phlanfa, bwriodd
hefyd ei ffrydau at holl goed y maes:
v Dan 6,1 5 [v] Am hynny yr ymdderchafodd ei huchder hi gor-
Sal.12,8
37,35 uwch holl goed y maes, ai cheingcian a amlhausant,
ai changhennau a ymestynnasant o ddyfroedd lawer
pan fwriodd hi [hwynt.]
6 [w] Holl ehediaid y nefoedd a nythent yn ei cheingc-
w Dan.4, iau hi, a holl fwyst-filod y maes a lydnent dan ei chang-
hennau hi, ïe yr holl genhedloedd lluosog a eisteddent
yn eu chyscod hi.
7 Felly teg ydoedd hi yn ei mawredd [ac] yn hyd ei
brig, o herwydd ei gwraidd ydoedd wrth ddyfroedd
lawer.
8 [x] Y cedr-wydd yng-ardd Dduw ni allent ei chuddio x Gen.13,10
hi, y ffynnid-wydd nid oeddynt debyg iw cheingciau
hi, a'r ffawydd nid oeddynt fel ei changhennau hi,
prenn yng-ardd yr Arglwydd nid ydoedd debyg iddi
hi yn ei thegwch.
9 [y] Gwnaethwn hi yn dêg gan liaws ei changhennau, y Sal. 127,1
a holl goed Eden y rhai oeddynt yng-ardd Dduw a Gen. 26,14
genfigennasant wrthi hi.
10 [z] Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Mat. 20,15
O herwydd ymdderchafu o honot mewn uchter, a Sal. 37,1
rhoddi o honi ei blaguryn hyd y tew-frig, ac ym- z 2Thes.2,4
dderchafu ei chalon yn eu huchder: Dan 5,20
11 [a] Am hynny y rhoddais hi yn llaw cadarn y cen- Hab. 2,4
hedloedd, gan wneuthur y gwna efe [ddinistr] iddi, am a Dan. 2,21
ei drygioni y gwthiais hi allan. 2Thes. 2,8
12 Ie cedyrn ddieithraid y cenhedloedd ai torrant Sal. 75,7
hi ymmaith, ac ai gadawant hi ar y mynyddoedd, ei Mat. 7,2
brig hefyd a syrthiant yn yr holl ddyffrynoedd, ai 1Sam. 15,33
changhennau a dorrant yn holl geu-nentydd y ddaiar: a
holl bobloedd y tir a ddescynnant oi chyscod hi, ac ai
gadawant hi.
13 [b] Holl ehediaid y nefoedd a drigant ar ei bôn hi: b Dat. 19,17, 18
a holl fwyst-filod y maes fyddant wrth ei changhen- Esa.51,6
nau hi.
14 [c] Fel nad ymdderchafo holl goed y dyfroedd yn c 2Petr 2,6
eu huchter, ac na roddant eu brugin hyd rhwng y 1Cor. 10,11
tew-frig, ac na safo'r holl [goed] dyfradwy: canys
rhoddaf hwynt oll i farwolaeth yn y tir issod, yng- Sal. 119,120
hanol meibion dynion, gyd a'r rhai a ddescynant i'r Deut.13,9, 11
pwll. Dan.5,29
15 [d] Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Yn y
dydd y descynnodd hi i uffern, gwneuthum alaru, d 2 Sam. 15,30
toais y dyfnder [â galar] am dani hi: canys atteliais ei
hafonydd, fel yr attaliwyd dyfroedd lawer: gwneuth-
um i Libanus alaru am dani hi, ac [yr ydoedd ar] holl
goed y maes ddeffygio am dani hi.
16 [e] Gan sŵn ei chwymp hi y cyffroais y cenhedloedd, e Hab. 2,17
pan wnaethum iddi ddescyn i uffern gyd a'r rhai a Es 14,8
ddescynnant i'r pwll: a holl goed Eden [sef] dewis a 10
goref Libanus yn ddyfradwy oll a ymgyssurant yn y
tir issod.
17 Hwythau hefyd â hi a ddescynnant i uffern at ladd-
edigion cleddyf, sef ei braich hi [y rhai] a drigasant
tann ei chyscod hi yng-hanol y cenhedloedd.
18 I bwy felly o goed Eden yr oeddit tebyg mewn
gogoniant, a mawredd? ti a ddescynnir gyd â choed
Eden i'r tir issod: gorweddi yng-hanol y rhai dien-
waededic gyd â lladdedigion cleddyf, dymma Pharao
ai holl liaws, medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XXXII.

*Galar-nad y prophwyd am ddifetha Pharao. 11 Pwy ai difethe ef.*

AC yn y deuddecfed mis o'r ddeuddecfed flwyddyn,
ar y [dydd] cyntaf o'r mis y daeth gair yr Ar-
glwydd attaf gan ddywedyd.
2 [f] Ha fab dyn cyfot alar-nad am Pharao brenin yr f Diar 23,15
Aipht, a dywet wrtho: Tebygaist i lew y cenhedloedd, Dat. 17,15
ac yr [ydwyt] ti fel morfarch yn y moroedd: canys Ex. 1,22
dygaist allan dy afonydd, cythryblaist hefyd y dyf- g Hos. 7,12
roedd a'th draed, a methraist eu hafonydd hwynt.
3 [g] Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw minne a Amos 9,1 2, 3

danaf fy rhwyd arnat mewn cynnulleidfa pobloedd
lawer: fel i'th godant yn fy rhwyd mau fi.
hSal. 83, 4 [h] Gadawaf di hefyd ar y tir, paraf dy daflu ar
10 Dat. 19,7 wyneb y maes, a gwnaf i holl ehediaid y nefoedd drigo
arnat ti: ie o honot ti y diwallaf fwyst-filod yr holl
dir.
i Sal. 74, 14 5 [i] Rhoddaf hefyd dy gig ar y mynyddoedd, a llan-
Ioel 3,14 waf y dyffrynnoedd a'th uchder di.
jEx. 1,22 6 [j] Mwydaf hefyd dy dir llaith a'th waed hyd y myn-
Dat.16,4 yddoedd, fel y llanwer yr afonydd o honynt.
kDiar 10 7 [k] Ie cuddiaf y nefoedd wrth dy ddiffoddi, a thywyll-
7 Sal.37,36 af ei sêr hwynt, yr haul a guddiaf â chwmwl, a'r lleu-
Iob 18, 5 ad ni wna iw goleuni oleuo.
Esa. 13, 10 8 [l] Tywyllaf arnat holl lewyrch goleuni yn y nef-
lDat. 16 oedd: a rhoddaf dywyllwch ar dy dir medd yr Ar-
10 Ex.10,21 glwydd Dduw.
mDat11, 9 [m] A digiaf galon pobloedd lawer, pan ddygwyf dy
18 ddinistr ym mysc y cenhedloedd i diroedd y rhai nid
adwaenost.
10 A gwnaf i bobloedd lawer ryfeddu wrthit, ai
brenhinoedd a ofnant yn fawr o'th blegit, pan wnelwyf
i'm cleddyf ddiscleirio yn erbyn eu hwynebau hwynt,
ie dychrynant yn ddisymmwth bob un am ei einios yn
nydd dy gwymp.
11 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw. Cledd-
yf brenin Babilon a ddaw arnat.
12 A chleddyfau y rhai cedyrn y cwympaf dy weryn,
[byddant] hwy oll yn gedyrn y cenhedloedd, a hwy a
ddinistriant falchder yr Aipht: fel yr anrheithier ei holl
weryn hi.
13 Difethaf hefyd ei holl anifeiliaid hi oddi wrth ddyfr-
oedd lawer, fel na sathro troed dyn hwynt mwy, ac na
fathro carnau anifeiliaid hwynt.
nIos. 23, 14 [n] Yna y soddaf eu dyfroedd hwynt, ai hafonydd a
1 Diar. 11 yrraf fel olew, medd yr Arglwydd Dduw.
10 15 [o] Pan roddwyf dir yr Aipht yn anrhaith, ac an-
oSal.107, 34 rheithio 'r wlad oi llawnder, pan darawyf y rhai oll a
breswyliant ynddi, yna y cant wybod mai myfi [ydwyf]
yr Arglwydd.
p2Sam.1 16 [p] Dymma alar-nad, galerwch chwithau [am dani]
17 Ier. 9,17 hi, merched y cenhedloedd a alarant [am dani] hi:
2 Sam 1, galarant [am dani] hi [sef] am yr Aipht, ac am ei gwer-
24 yn oll medd yr Arglwydd Dduw.
17 Ac yn y ddeuddecfed flwyddyn, ar y pymthec-
fed [dydd] o'r mis y daeth gair yr Arglwydd attaf gan
ddywedyd,
q Phil 3, 18 [q] Cwyna fab dyn am weryn yr Aipht, a descynn hi,
18 hi a merched y cenhedloedd godidog i'r tir issaf, gyd
Ier 1, 10 Sal 57,85 a'r rhai a ddescynnant i'r pwll.
Galar 3, 55 19 [r] O bwy 'r oeddit hyfryd? descynn a gorwedd gyd
rIer 15,3 a'r rhai dienwaededic.
20 Syrthiasant yng-hanol y rhai a laddwyd [a'r] cledd-
yf: i'r cleddyf y rhoddwyd hi: llusgwch hi ai gwerin
oll.
sEsa 14,9 21 [s] Llefared y rhai cryfiawn cedyrn wrthi hi, [ac]
Luc16,23 wrth ei chynorthwy-wyr ó ganol uffern: [y rhai] a
ddescynnasant, [ac] a orweddasant gyd a'r rhai dien-
waededic a laddwyd â chleddyf.
22 Yno [llefared] Assyria ai holl gynnulleidfa ai bedd-
au oi hamgylch hi, y rhai hynny oll a laddwyd, [ac] a
syrthiasant drwy gleddyf.
t Iob 26, 23 [t] Yr hon y rhoddwyd ei beddau yn ystlysau y pwll,
13 Sal 27,13 ai chynulleidfa ydoedd o amgylch ei bedd hi, y rhai
hynny oll a laddwyd, [ac] a syrthiasant drwy gleddyf.
uGen10, y rhai a roddasant eu harswyd yn nhir y rhai byw.
22 Dan 8, 2 24 [u] Yno [llefared] Elam, ai holl weryn o amgylch ei
bedd, y rhai hynny oll a laddwyd, [ac] a syrthiasant
drwy cleddyf, a ddescynasant yn ddienwaededic i'r
tir issod, y rhai a roddasant eu harswyd yn nhir y
rhai byw: ac a ddugasant eu gwradwydd gyd a'r rhai
a ddescynnant i'r pwll.
25 [v] Yng-hanol y rhai lladdedic y gosodant iddi vSal 52,5
orweddfa ym mysc ei holl weryn, ai beddau oi ham- a 142, 5
gylch: y rhai hynny oll yn ddienwaededic a laddwyd a
chleddyf, am roddi eu harswyd yn nhir y rhai byw: a
dwyn o honynt eu gwradwydd gyd a'r rhai a ddescyn-
nent i'r pwll, yng-hanol y lladdedigion y rhoddwyd
[hwynt.]
26 [w] Yno [llefared] Mesech, a Thubal ai holl weryn wGen 10
ai beddau oi hamgylch, y rhai hynny oll yn ddienwaed- 2
edic a laddwyd â chleddyf: am roddi o honynt eu
harswyd yn nhir y rhai byw.
27 [x] Ac ni orweddant gyd a'r cedyrn a syrthiasant xEsa 34,
o'r rhai dienwaededic, y rhai a ddescynasant i uffern 17 Lef 5, 10
mewn arfau rhyfel, rhoddasant eu cleddyfau tann eu Sal 49,14
pennau: eithr eu hanwiredd fydd ar eu hescyrn hwy,
am [fod] arswyd [eu] cedyrn yn nhir y rhai byw.
28 [y] A thithe a ddryllir ym mysc y rhai dienwaed- y Sal 37,
edic, ac a orweddi gyd a'r rhai a laddwyd â chleddyf. 35 Dan 2,35
29 [z] Yno [llefared] Edom ai brenhinoedd, ai holl dy- z Gen 25
wysygion y rhai a roddwyd yn eu cadernid gyd a'r 30 Mal1,3,4
rhai a laddwyd â chleddyf: hwynt a orweddant gyd Esa 63 1
a'r rhai dienwaededic, a chyd a'r rhai a ddescynnant i'r 4
pwll. Gen 36 40
30 Yno llefared holl dywysogion y gogledd, a'r holl
Sidoniaid y rhai yn eu hofn a ddescynnasant gyd a'r
lladdedigion: gan gywilyddio am eu cadernid: gor-
weddant hefyd yn ddienwaededic gyd a'r rhai a ladd-
wyd â chleddyf, ac a ddygant eu gwradwydd eu hun
gyd a'r rhai a ddescynnant i'r pwll.
31 [a] Pharao ai gwel hwynt, ac a ymgysura yn ei holl aHeb3 17
weryn: lladdedigion cleddyf [fydd] Pharao ai holl wyr Esa 14 8
medd yr Arglwydd Dduw.
32 [b] Canys rhoddais fy ofn yn nhir y rhai byw, fel y bZec 1 15
gwnaethbwyd iddo orwedd yng-hanol y rhai dien- Ier 25 15
waededic gyd a lladdedigion cleddyf [sef] i Pharao ac
iw holl weryn, medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XXXIII.

*Yn erbyn ysceulustra gwenidogion gair Duw, a rhyfyg y bobl. 10 Addewidion cyssurus yn erbyn annobaith. 23 A bygwth yn erbyn yr anedifeiriol.*

A DAETH gair yr Arglwydd attaf gan ddywedyd,
2 [c] Llefara fab dyn wrth feibion dy bobl, a c Esa 21
dywet wrthynt, Pan ddygwyf gleddyf ar wlad, a 11 Hos 9 8
chymmeryd o bobl y wlad ryw ŵr oi mysc, ai roddi Heb13 17
ef yn wiliedudd arnynt,
3 [d] Os gwel efe gleddyf yn dyfod ar y wlad, ac ud- d1Tim 3
canu mewn udcorn, a rhybuddio y bobl, 6
4 [e] A'r hwn a glyw lais yr udcorn, ac ni ochel, Mat15 14
eithr dyfod o'r cleddyf ai ddal ef, ei waed fydd a'r ei Sal 19 11
benn ei hun. e Iago 1 26
5 [f] [Yr hwn] a glybu lais yr udcorn, ac ni ochelodd, f Act 20
bydded ei waed arno ei hun: a'r hwn a ochelo a war- 26 a 27
edodd ei enaid.
6 [g] Ond pan welo y gwiliedudd y cleddyf yn dyfod, g Esra 3
ac ni udcana mewn udcorn, a'r bobl heb ochelyd, eithr 18
dyfod o'r cleddyf a dal un o honynt, hwnnw a ddelir 2 Thes 1 8
yn ei anwiredd, ond mi a ofynnaf ei waed ef o law y
gwiliedudd. hMat 28
7 [h] Tithe fab dyn yn wiliedudd i'th roddais i dŷ Israel, 20 1 Cor 11
fel y clywech air o'm genau, ac y rhybuddiech hwynt 23 Ier 23 21
oddi wrthif fi. 22

8 Pan ddywedwyf wrth yr annuwiol, [Ti] annuwiol
gan farw a fyddi farw: oni leferi i rybuddio yr an-
nuwiol oi ffordd: yr annuwiol hwn a fydd marw yn
ei anwiredd, ond o'th law di y gofynnaf ei waed ef.
9 A phan rybyddiech di yr annuwiol oi ffordd i
ddychwelyd o honi, os efe ni ddychwel oi ffordd, hwn-
nw fydd marw yn ei anwiredd, a thithe a ryddheuaist
dy enaid.
i Lef 5 1 10 [i] Llefara hefyd wrth dŷ Israel ti fab dyn, Fel hyn
Pen24 23 gan ddywedyd y dywedwch, Am [fod] ein anwireddau,
Galar5 7 Esa49 14 a'n pechodau i'n herbyn a ninne yn toddi ynddynt,
Dat 16 9 pa fodd weithian y byddwn ni byw?
j Hos11 8 11 [j] Dywet wrthynt, [nid] byw fi medd yr Arglwydd
Galar 3 33 Dduw, Os ymhoffaf mewn marwolaeth yr annuwiol,
Mica7 18 onid a'r droi o'r annuwiol oddi wrth ei ffordd ei hun a
Luc15 20 byw: dychwelwch, dychwelwch oddi wrth eich ffyrdd
drygionus: canys (tŷ Israel) pa ham y byddwch feirw?
k Phil3 9 12 [k] Dywet ti hefyd fab dyn wrth feibion dy bobl:
Mat 9 13 Cyfiawnder y cyfiawn ni's gwared ef yn nydd ei anwir-
Heb 10 38 edd: felly am annuwioldeb yr annuwiol ni thram-
Mat10 22 gwydda efe oi herwydd yn y dydd y dychwelo oi an-
Ier 4 1 wiredd: ni ddichon y cyfiawn ychwaith fyw oi blegit
yn y dydd y pecho.
l Dat2 10 13 [l] Pan ddywedwyf wrth y cyfiawn, Gan fyw y caiff
Rhuf 10 3 fyw: os efe a hydera ar ei gyfiawnder, ac a wna an-
wiredd, ei holl gyfiawnderau ni chofir, onid yn ei
anwiredd yr hwn a wnaeth, [ie] yn hwnnw y bydd efe
farw.
m Luc 13 3 14 [m] A phan ddywedwyf wrth yr annuwiol, Gan
Mica 6 8 farw y byddi farw: os dychwel oddi wrth ei bechod,
a gwneuthur barn, a chyfiawnder,
n Deut24 12 15 [n] [Os] yr annuwiol a ddadrydd wystl, ac a dâl yr
hyn a dreisiodd, a rhodio yn neddfau y bywyd heb
Sal 19 11 wneuthur anwiredd: gan fyw y bydd efe byw, marw
ni bydd efe.
o Sal 79 8 16 [o] Ni choffeir iddo yr holl bechodau y rhai a bech-
odd, barn, a chyfiawnder a wnaeth efe, gan fyw y
bydd efe byw.
17 A meibion dy bobl a ddywedant, Ni bydd iniawn
ffordd yr Arglwydd, eithr eu ffordd hwynt ni bydd
iniawn.
p 2Tim 4 10 18 [p] Pan ddychwelo y cyfiawn oddi wrth ei gyfiawn-
2Pedr 2 der, a gwneuthur anwiredd: yna y bydd farw yn-
20 21 ddynt.
19 A phan ddychwelo 'r annuwiol oddi wrth ei an-
nuwioldeb, a gwneuthur barn, a chyfiawnder, yn y
rhai hynny y bydd hwnnw byw.
q Sal75 7 20 [q] Lle y dywedasoch Nad iniawn fydd ffordd yr
Ioan5 22 Arglwydd, barnaf chwi tŷ Israel bob un yn ol ei
2Cor5 10 Act10 34 ffyrdd ei hun.
Mat 16 27 21 [r] Ac yn y decfed [mis] o'r ddeuddecfed flwyddyn
Sal 62 12 o'n caethgludiad ni, ar y pummed [dydd] o'r mis y
Zec8 10 daeth un a'r a ddiangase o Ierusalem attaf fi gan ddy-
Ier 29 20 wedyd, Dinistriwyd y ddinas.
22 A llaw'r Arglwydd fuase arnaf yn yr hwyr cyn
dyfod y diangudd, ac a agorodd fy safn nes ei ddyfod
attaf y boreu: ie agorodd fy safn, ac ni thewais i mwy-
ach.
23 Yna y daeth gair yr Arglwydd attaf gan ddywed-
yd,
Esa51 2 24 [s] Ha fab dyn, presswyl-wyr y diffaethwch hyn
Mat 3 9 yn nhir Israel ydynt yn llefaru gan ddywedyd, Abra-
Mica3 11 Ier 7 4 ham oedd un, ac a feddiannodd y tir: ninnau [ydym]
Ioan8 33 lawer, i ni y rhoddwyd y tir mewn meddiant.
Gen 9 4 25 [t] Am hynny dywet wrthynt, Fel hyn y dywed yr
Ioan8 39 Arglwydd Dduw, Chwi a ymborthwch ar waed, a
derchefwch eich llygaid at eich gau dduwiau, ty-
welltwch waed hefyd: ac a feddiannwch chwi y tir?
26 Safasoch ar eich cleddyfau, gwnaethoch ffiaidd-
dra, halogasoch hefyd bob un wraig ei gymmydog:
ac a feddiannwch chwi y tir?
27 Felly y dywedi wrthynt, Fel hyn y dywedodd
yr Arglwydd Dduw, [Nid] byw fi onid drwy y cledd-
yf y syrth y rhai [ydynt] yn y diffaethwch, a'r hwn
[sydd] ar wyneb y maes, i'r bwyst-fil y rhoddaf ef iw
fwytta: a'r rhai [ydynt] mewn ceurydd, ac mewn
ogofeudd a fyddant feirw o haint.
28 Rhoddaf hefyd y tir yn anrhaith, [ie] yn anrhaith,
fel y peidio balchder ei nerth ef, ac yr anrheithir
mynyddoedd Israel [i fod] heb gynniwerudd.
29 [u] A chânt wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd, u Sal9 16
pan roddwyf y tir yn anrhaith, ie yn anrhaith am eu Esa26 11
holl ffieidd-dra hwynt y rhai a wnaethant.
30 [v] Tithe fab dyn, meibion dy bobl ydynt yn dy- v 2 Cron
wedyd i'th erbyn wrth barwydydd, ac o fewn dryssau 36 16 Mat 3 5
y tai, canys ymddiddan y naill wrth y llall, pob un a 11 7
wrth ei gilydd gan ddywedyd, Deuwch yr awr hon, a
gwrandewch beth [yw]'r gair yr hwn a ddaeth oddi
wrth yr Arglwydd.
31 [w] Deuant hefyd attat fel y daw pobl [eraill] ac w Mat 15 8
eisteddant o'th flaen [fel] fy mhobl mau fi; gwrandaw- Ier 43 7
ant hefyd dy eiriau, ond ni's gwnant hwy: canys ai Mat 13 22
geneuau y gwnant hwy watwor-gerdd, ai calon hwy Luc16 15
sydd yn myned ar ol eu cybydd-dod hwy eu hun. Mat. 19, 22
32 Wele di hefyd iddynt fel cân gwatwor-gerdd *yn*
hyfryd-lais, ac yn canu yn dda, canys gwrandawant
dy eiriau, ond ni's gwnant hwy.
33 [x] A phan ddelo hyn (wele ef yn dyfod) yna y x Diar.5,
cânt wybod mai prophwyd fu yn eu mysc hwynt. 11, 13

## PEN. XXXIV.

*Prophwydoliaeth yn erbyn bugeiliaid Israel: am ysceulysso praidd Crist, a dilyn eu helw eu hun.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf gan ddy-
wedyd,
2 [y] Prophwyda fab dyn yn erbyn bugeiliaid Israel; y Esa.56, 11
prophwyda, a dywet wrthynt, [sef] wrth y bugeiliaid, Luc 20,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Gwae fugeil- 47
iaid Israel y rhai ydynt yn eu porthi eu hunain: oni 2Pedr 2, 3
phortha y bugeiliaid y praidd? Rhuf. 16, 18
3 [z] Y brasder a fwyttewch, a'r gwlân a wiscwch, y 1Pedr 5,
brâs a leddwch, [ac] ni phorthwch y praidd. 2
4 [a] Ni chryfhausoch y rhai llesc, ac ni feddyginiaeth- Act. 20, 28
asoch y gwann, ni rwymasoch y drylliedic y chwaith, Ioan 21,
a'r cyfeiliornus ni ddugasoch adref: y colledic hefyd 15
ni cheisiasoch, eithr llywodraethasoch hwynt mewn z Zec. 11 5, 16
caledi, a chreulondeb. Dat.17,4
5 [b] Am hynny y gwascarwyd hwynt o eisieu bugail, Mica3,2, 3
ac y buant yn ymborth i holl fwyst-filod y maes pan a Mat. 9, 36
wascarwyd hwynt. Luc 15, 4
6 [c] Fy mhraidd a gyrwydrasant ar hyd yr holl fy- b Zec 12, 7
nyddoedd, ac ar bob brynn uchel: ie gwascarwyd fy Mat.9,36
mhraidd ar hyd holl wyneb y ddaiar, ac nid oedd [ai] c Galar 2 14
gofynne, nac [ai] ceisie. Ier. 5, 1
7 Am hynny fugeiliaid, gwrandewch air yr Argl-
wydd.
8 [d] [Nid] byw fi medd yr Arglwydd Dduw, onid am d Ier. 23, 1
fod fy mhraidd yn yspail, a bod fy mhraidd yn ym- Zec.10.3
borth i holl fwyst-filod y maes o eisieu bugail (canys Heb. 13,
fy mugeiliaid ni cheisiasant fy mhraidd, eithr y bu- 17
geiliaid ai porthasant eu hun, ac ni phorthasant fy
mhraidd mau fi)

9 Am hynny O fugeiliaid gwrandewch air yr Ar-
glwydd,
10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Wele fi
at y bugeiliaid, a gofynnaf fy mhraidd oi dwylo
hwynt, a gwnaf iddynt beidio a phorthi y praidd: ïe
y bugeiliaid ni phorthant eu hun mwy, eithr gwared-
af fy mhraidd oi safn hwy, fel na byddant yn ymborth
iddynt.
e 2Cor. 7, 11 e Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
12 a 11,28 Wele myfi, ïe myfi a ymofynnaf fy mhraidd, ac ai
1 Tim 5,5 ceisiaf hwynt.
f Ioan 10, 12 f Fel y cais bugail ei fintai ar y dydd y byddo ym
11 mysc ei braidd gwascaredic, felly y ceisiaf fy mhraidd,
1 Pedr 5, ac y gwaredaf hwynt o bob lle yr hwn y gwascarer
4 Sal. 23, 1 hwynt iddo ar ddydd cwmyloc a niwloc.
13 A dygaf hwynt allan o fysc y bobloedd, a chascl-
af hwynt o'r tiroedd, dygaf hwynt iw tîr eu hun, a
phorthaf hwynt ym mynyddoedd Israel, yn y cymmau,
ac yn holl drigleoedd y wlad.
g Sal. 23, 14 g Mewn porfa dda y porthaf hwynt, ac yn uchel
1 1 Pedr 2, fynyddoedd Israel y bydd eu porfa hwynt: yno y
2 gorweddant mewn porfa dda, ïe mewn porfa frâs y
Tit. 1, 9 porant ar hyd mynyddoedd Israel.
2 Cor. 2, 15 Myfi a borthaf fy mhraidd, a myfi ai gorweddfâf
17 2Thes. 2 hwynt medd yr Arglwydd Dduw.
9, 10 h Deut. 16 h Y colledic a geisiaf: a'r tarfedic a ddychwelaf,
32, 15 Sal.22,29 a'r briwedic a rwymaf, a'r llesc a gryfhâf: eithr din-
Esa. 5,17 istriaf y brâs a'r cryf, mewn barn y porthaf hwynt.
a 10, 16 Amos4,1 17 i Chwithau fy mhraidd fel hyn y dywed yr Ar-
Ier.10,24 glwydd Dduw, Wele fi yn barnu rhwng milin a milin,
i Mat. 25, [sef] rhwng yr hyrddod a'r bychod.
32, 33 j Mat. 15, 18 j Ai bychan gennych bori o honoch y borfa dda,
6 a sathru dan eich traed y rhan arall o'ch porfa? ac
yfed o honoch y dyfroedd tra yr oeddynt ddyfnion, a
mathru o honoch y rhan arall a'ch traed?
19 Felly y porodd fy mhraidd sathrfa eich traed: a
mathrfa eich traed a yfasant.
20 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw
wrthynt hwy, Wele minne a farnaf hefyd rhwng
milin brâs, a milin cûl.
21 O herwydd gwthio o honoch âg ystlys, ac âg ys-
cwydd, a chornio o honoch a'ch cyrn y rhai llesc oll
hyd oni wascarasoch hwynt allan:
22 Am hynny y gwnaf iechydwriaeth i'm praidd, fel
na byddant mwy yn yspail, a barnaf rhwng milin a
milin.
k Esa.40, 23 k Cyfodaf hefyd un bugail arnynt, ac efe ai portha
11 Ioan 10, hwynt, sef fyng-was Dafydd, efe ai portha hwynt, ac
11, 16 Esa. 49,6 efe a fydd yn fugail iddynt.
l Dat. 1, 24 l A minnaef yr Arglwydd a fyddaf yn Dduw iddynt,
13 a'm gwas Dafydd yn dywysog yn eu mysc: myfi yr
Mat. 18, Arglwydd a leferais [hyn.]
20 m Ier. 31 25 m Gwnaf hefyd a hwynt gyfammod heddwch, a
31 a 33, 6, 9 gwnaf i'r bwyst-fil drwg beidio o'r tir, fel y trigant
Hos.2,18 mewn anialwch, ac y cyscant mewn coedydd yn ddi-
Esa 11,6 8 ogel.
Ier 23, 6 26 n Hwynt hefyd, ac amgylchoedd fy mrynn a rodd-
n Sal. 2,6 af yn fendith, a gwnaf ir gwlaw ddescyn yn ei amser:
Hos.2,21 gwlaw bendithiol fydd.
27 Yna y rhydd prenn y maes ei ffrwyth, a'r tir a
rydd ei gynnyrch, a byddant yn ei tir eu hyn mewn
diogelwch: yna y cafant wybod mai myfi [ydwyf] yr
Arglwydd: pan dorrwyf rwymau eu iau hwynt, ai
gwared hwynt o law y rhai ai caethiwant.
28 Ac ni byddant hwy mwyach yn yspail i'r cenhedl-
oedd, a bwyst-fil y tir ni's bwyttu hwynt, eithr trigant
mewn diogelwch, ac ni [bydd] dychrynnudd.
29 o Cyfodaf iddynt hefyd blanhigin enwoc, ac ni o Esa. 11,
byddant mwy wedi trengu o newyn yn y tîr, ac ni 1
ddygant mwy wradwydd y cenhedloedd.
30 p Eithr cafant wybod mai myfi 'r Arglwydd eu p Gal 6,
Duw [sydd] gyd â hwynt, a hwythau tŷ Israel [ydynt] 16
fy mhobl maufi, medd yr Arglwydd Dduw.
31 q Chwithau fy mhraidd mau fi, defaid fy mhorfa, q Ioan 10,
dynion [ydych] chwi, myfi [ydwyf] eich Duw chwi, 11
medd yr Arglwydd Dduw. a 8, 28

## PEN. XXXV.

*Cospedigaeth yr Edommiaid am flino pobl Dduw.*

ADAETH gair yr Arglwydd attaf gan ddywedyd,
2 r Gosot dy wyneb fab dyn tu ag at fynydd Seir, r Gen. 36,
a phrophwyda yn ei erbyn. 9
3 Dywet hefyd wrtho, Fel hyn y dywedodd yr Ar- Amos. 1,
glwydd Dduw, Wele fi i'th erbyn dydi mynydd Seir, 11
estynnaf hefyd fy llaw arnat, a rhoddaf di yn anghyf-
annedd, ac yn ddiffaethwch.
4 Gosodaf dy ddinasoedd yn ddiffaethwch, a thithe
a fyddi yn anghyfannedd, fel y gwypech mai myfi
[ydwyf] yr Arglwydd.
5 s Am fod gennit alanastra tragwyddol, ac ymlit o s Obad 10
honot feibion Israel â min y cleddyf yn amser eu gofid Sal 137,7
hwynt [sef] yn amser diwedd [eu] hanwiredd [hwynt:]
6 t Am hynny [nid] byw fi medd yr Arglwydd Dduw, t Mat.7,2
oni wnaf di yn waed, a gwaed a'th ymlyd di, ïe gwaed Dat. 16,6
a'th ddilyn oni chasei waed. Sal. 109,
17
7 u Rhoddaf hefyd fynydd Seir yn anrhaith, ac yn u Seph.2,
ddiffaethwch, a thorraf ymmaith o honaw ef yr hwn a 5
elo, a'r hwn a ddychwelo. Ier.33,10
8 Llanwaf hefyd ei fynyddoedd ef ai laddedigion, yn
dy frynnau, a'th ddyffrynnoedd, a'th holl afonydd,
rhai wedi lladd â chleddyf a syrthiant ynddynt.
9 v Rhoddof di yn anrhaith tragwyddol, a'th ddinas- v Mal.1,3
oedd ni chyfanneddir, fel y gwypoch mai myfi [ydwyf] 4 Esa. 27,7
yr Arglwydd. a 65, 8
10 w Am ddywedyd o honot, Y ddwy genhedlaeth, a'r w Sal. 83,
ddwy wlad fyddant eiddo fi: canys gorescynnwn hwy 4, 12 a 132, 13,
er bod yr Arglwydd yno: 14 a 48,1,3
11 x Am hynny byw [ydwyf] fi medd yr Arglwydd x Iago 2,
Dduw, a gwnaf yn ôl dy ddîg, ac yn ôl dy wŷn y rhai 13 Mat. 7, 2
o'th gâs yn eu herbyn hwynt a wnaethost: fel i'm Dat.19,1
hadwaener yn eu mysc hwynt pan i'th farnwyf di. 2
12 y A chei wybod ddarfod i mi'r Arglwydd glywed y 2 Bren.
dy holl ddirmyg yr hwn a draethaist yn erbyn myn- 19, 28
yddoedd Israel gan ddywedyd, Anrhaithiwyd hwynt,
[ac] i ni y rhoddwyd hwynt yn ymborth.
13 z Ymfawrygasoch hefyd a'ch geneuau yn fy erbyn z Dat.13,
i, ac amlhausoch eich geiriau i'm berbyn: mi [ai] 6
clywais.
14 a Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw, An- a Esa. 65
rhaith a wnaf it fel y llawenycho 'r holl wlad. 13 Dat.18,19
15 Fel dy lawenydd di am feddiant tŷ Israel o her-
wydd ei anrheithio, felly y gwnaf i tithe: anrhaith
fyddi di mynydd Seir, ac Edom oll ei gyd: fel y
gwypont mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.

## PEN. XXXVI.

*Addewid o ymwared i Israel oddi wrth y cenhedloedd.*
*22 Bod ymgeledd Israel o drugaredd Dduw, ac nid oi haeddedigaeth eu hun.*

TITHE fab dyn prophwyda wrth fynyddoedd
Israel, a dywet, Gwrandewch fynyddoedd Israel
air yr Arglwydd. b Hab. 3,
6
2 b Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, O herwydd Sal.79,?
dywedyd o'r gelyn hyn am banoch chwi, A ha, aeth Esa. 37,
24

uchelfaon tragwyddol hefyd yn etifeddiaeth i ni.
c Obad. 11 3 c Am hynny prophwyda, a dywet, Fel hyn y dy-
Galar. 2, wedodd yr Arglwydd Dduw, O herwydd eich anrhaith-
15 Sal.44,13 io a'ch llyngcu o amgylch, i fod o honoch yn etifedd-
a 1?0, 11 iaeth i weddill y cenhedloedd, a myned o honoch yn
watwargerdd, ac yn gablaeth pobl.
4 Am hynny mynyddoedd Israel gwrandewch air yr
Arglwydd Dduw, fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw wrth y mynyddoedd, ac wrth y bryniau, wrth
yr afonydd, ac wrth y dyffrynnoedd, wrth y diffaeth-
wch anghyfanneddol, ac wrth y dinasoedd gwrthod-
edic y rhai oeddynt yn yspail, ac yn watwar i'r rhan
arall o'r cenhedloedd y rhai [oeddynt] oi hamgylch:
d Deut. 4, 24 5 d Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Sal 69,10 [Nid geir-wir fi] onid yng-wres fyng-wŷn y lleferais
Hos. 9, 3 wrth y rhan arall o'r cenhedloedd, ac wrth holl Edom:
Sal. 125,3 4 y rhai a roddasant fy nhir mau fi yn etifeddiaeth idd-
ynt eu hun mewn llawenydd pob calon, trwy ddiys-
tyrwch meddwl, am ei gyrru yn yspail
6 Am hynny prophwyda am dir Israel, a dywet
wrth y mynyddoedd, ac wrth y bryniau, wrth yr af-
onydd, ac wrth y dyffrynnoedd, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Wele fi yn fyng-wŷn, ac yn fy llid
y lleferais, o herwydd dwyn o honoch wradwydd
y cenhedloedd,
e Ier. 25, 15 7 e Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Myfi a dyngais [nad geir-wir fi] oni ddwg y cenhedl-
oedd y rhai ydynt o'ch amgylch chwi eu gwradwydd,
f Hos. 2, 21 8 f A chwithau mynyddoedd Israel a roddwch eich
Amos 9, ceingciau ac a ddygwch eich ffrwyth i'm pobl Israel:
15 canys agos ydynt ar ddyfod.
9 Canys wele fi attoch, ie troaf attoch, fel ich co-
ledder, ac i'ch hauer.
g Ier. 31, 27 10 g Amlhâf ddynnion ynoch chwi hefyd holl dŷ
Hos.1,11 Israel ei gyd, fel y cyfanedder y dinasoedd, ac yr
Eph.2,22 adailader y diffaethwch.
h Ioh. 8, 7 a 9, 16 11 h Ie amlhâf ynoch ddyn ac anifail, fel y chwaneg-
Ioel 3,17 aut ac y ffrwythant, a gwnaf i chwi bresswylio fel yr
Esa. 24, 23 oeddych gynt: ie gwnaf well nag [yn] eich dechreu-
ad, fel y gwypoch mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd.
i Amos 9, 12 i Dygaf hefyd ddynnion arnoch [sef] fy mhobl
15 Obad.15 Israel, canys etifeddant dydi, a byddi yn etifeddiaeth
Ier. 15,7 iddynt, ac ni chwanegi eu gwneuthur hwynt yn ym-
Amos 9 15 ddifaid mwy.
j Num.13 32 13 j Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, O her-
wydd eu bod yn dywedyd wrthych, Ti a fuost yn bwytta
dynnion, ac yn gwneuthur dy genedl dy hun yn ym-
ddifad,
14 Am hynny ni fwyttei ddyn mwy, ac ni wnei i'th
genhedl dy hun syrthio medd yr Arglwydd Dduw,
k Esa. 49, 20 Eph. 3, 9 15 k Ac ni adawaf glywed gwradwydd y cenhedl-
oedd ynnot ti mwy: ni ddygi ychwaith warth y cen-
hedloedd mwyach, ac ni wnei mwy i'th genedl dy hun
syrthio, medd yr Arglwydd Dduw.
16 Daeth hefyd gair yr Arglwydd attaf gan ddy-
wedyd,
l Ier. 2,7 17 l Ha fab dyn tŷ Israel oeddynt yn trigo yn eu tir
Lef. 15,19 eu hun: ac ai halogasant ef ai ffordd, ac ai gweith-
redoedd eu hun: eu ffordd hwynt ydoedd o'm blaen i
fel aflendid gwraig fis-glwyfus.
m Sal 79, 18 m Yna y tywelltais fy llid arnynt, am y gwaed yr
Esa. 1,15 hwn a dywalltasent ar y ddaiar, ac am eu delwau
[drwy 'r rhai] yr halogasent hi.
n Lef. 5,5 19 n Am hynny gwascerais hwynt ym mhlith y
cenhedloedd, a chwelais hwynt ar hyd y gwledydd yn
ôl eu ffyrdd eu hun, ac yn ôl eu gweithredoedd eu
hun y bernais hwynt.
20 o Pan ddaethant at y cenhedloedd y rhai yr aeth- o Rhuf.2, 24
ant attynt, yna yr halogasant fy enw sanctaidd, pan Esa 52,5
ddywedid am danynt: Dymma bobl yr Arglwydd, ac Galar. 2, 15
oi gwlad eu hun y daethant. Mal 2,17
21 p Er hynny arbedais [hwynt] er mwyn fy enw p Sal.106 7, 8
sanctaidd yr hwn a halogodd tŷ Israel ym mysc y
cenhedloedd y rhai yr aethant attynt.
22 Am hynny dywet wrth dŷ Israel, Fel hyn y dywed
yr Arglwydd Dduw, Nid er eich mwyn chwi tŷ Israel
yr ydwyf fi yn gwneuthur [hyn,] ond er mwyn fy enw
sanctaidd yr hwn a halogasoch chwi ym mysc y cen-
hedloedd lle yr aethoch.
23 Canys sancteiddiaf fy enw mawr, yr hwn a halog-
wyd ym mysc y cenhedloedd ([sef] yr hwn a halog-
asoch chwi yn eu mysc hwynt) fel y gwypo y
cenhedloedd mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd medd yr
Arglwydd Dduw: pan ymsancteiddiwyf ynoch o flaen
eich llygaid.
24 q Ac mi a'ch cymmeraf chwi o fysc y cenhedloedd q Rhuf. 11, 25
ac a'ch casclaf chwi o'r holl wledydd, ac a'ch dygaf Ier. 3, 13
i'ch tir eich hun, Esa. 11, 12
25 r Ac a daenellaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch r 1 Pedr 1 2, 19
lân oddi wrth eich halogedd oll: glanhâf chwi hefyd Heb. 9,14
oddi wrth eich gau-dduwiau oll. Zec.13,1, 2
26 s A rhoddaf i chwi galon newydd, ysbryd newydd Pen. 37, 23
hefyd a roddaf o'ch mewn chwi, a thynnaf y galon
garrec o'ch cnawd chwi, ac mi a roddaf i chwi s Ier. 32, 39
galon gig. a 10, 23
27 Rhoddaf hefyd fy yspryd mau fi o'ch mewn, ac a
wnaf i chwi rodio yn fy neddfau mau fi, a chadw, a
gwneuthur fy marnedigaethau.
28 t Cewch drigo hefyd yn y tir yr hwn a roddais t Deut.7 6
i'ch tadau: a byddwch yn bobl i mi, a minne a fyddaf Gen.17,1
Dduw i chwithau.
29 u Achubaf chwi hefyd oddi wrth eich holl halog- u Ioel 3, 17
edd, a galwaf am ŷd, ac ai amlhaf, ac ni adawaf arnoch Rhuf.11, 16
newyn. 1 Tim. 4, 8
30 Amlhaf hefyd ffrwyth y coed, a chynnyrch y
maes, fel na ddygoch mwy wradwydd newyn ym mysc
y cenhedloedd.
31 v Cofiwch hefyd eich ffyrdd drygionus, a'ch v Hos. 1 8
gweithredoedd y rhai nid [ydynt] dda, yna y byddwch Ier.31,18
yn ffiaidd gennych eich hunain am eich anwireddau, a 50, 4
ac am eich ffieidd-dra:
32 w Byddet hyspys i chwi nad er eich mwyn chwi w Rhuf. 11, 28
yr ydwyf fi yn gwneuthur [hyn] medd yr Arglwydd Dan.9,19
Dduw: tŷ Israel gwridwch, a chywilyddiwch am eich
ffordd.
33 x Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Yn y x Ier 3,18 a 23, 8
dydd y glanhauwyf chwi o'ch holl anwireddau, y paraf Amos 9,
gyfanneddu dinasoedd, ac yr adailadir yr anghyfan- 14, 15
nedd-leoedd.
34 A'r tir anrhaithiedic a goleddir, am ei fod yn an-
rhaith yng-olwg pob cynniwerudd.
35 y Yna y dywedant, Y tir anrhaithiedic hwn oedd y Sal.126, 2
fel gardd Eden, a'r dinasoedd ang-hyfanedd anrhaith-
iedic a dinistriol, a gyfanneddir yn gaeroc.
36 z Felly y cenhedloedd y rhai a weddillir o'ch z Amos 7
amgylch a gânt wybod mai myfi 'r Arglwydd a adail-
edais eich lleoedd dinistriol, [ac] a blennais eich
mannau anrhaithiedic: myfi yr Arglwydd a leferais,
ac a wneuthum [hyn.]
37 a Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Tŷ Israel a Mat 7,7
a'm caiff fi etto i wneuthur hyn iddynt: amlhâf hwynt Ioan16,16
fel mintai o ddynion.

b Rhuf. 38 b Fel praidd sanctaidd, fel praidd Ierusalem yn
12, 1 eu tymmorau, felly y dinasoedd ang-hyfannedd fyddant
llawn o finteioedd o ddynion fel y gwypont mai myfi
[ydwyf] yr Arglwydd.

## PEN. XXXVII.

*Prophwydoliaeth am ddychwcliad y bobl o gaethiwed. 16 Ac am uno dêc llwyth Israel wrth y ddau lwyth eraill.*

c Luc 4,1 BU c llaw 'r Arglwydd arnaf, hi a'm dug fi allan
Esa. 26, hefyd yn yspryd yr Arglwydd, ac a wnaeth i mi
19 orphywys yng-hanol dyffryn, a hwnnw [oedd] yn
llawn escyrn.

2 Ac efe a wnaeth i'm fyned heibio iddynt o amgylch
o gylch, ac wele [hwynt] yn aml iawn ar wyneb y
dyffryn, wele hefyd sychion odieth [oeddynt.]

3 d Ac efe a ddywedodd wrthifi, Ha fab dyn a fydd
d Ioan6,4 byw 'r escyrn hyn? yna y dywedais, [Goref] y gwy-
5 Gen.23,4 ddost ti O Arglwydd Dduw.
1 Cor. 15,
19 4 e Ac efe a ddywedodd wrthif, Prophwyda am yr
e Ier.1,10 escyrn hyn, a dywet wrthynt, O escyrn sychion,
clywch air yr Arglwydd.

5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth yr es-
cyrn hyn, Wele fi yn dwyn yspryd arnoch fel y bydd-
och byw.

6 Giau hefyd a roddaf ynoch, a pharaf i gig gyfodi
arnoch, gwiscaf chwi hefyd â chroen, a rhoddaf yspryd
ynoch, fel y byddoch byw, ac y gwypoch mai myfi
[ydwyf] yr Arglwydd.

f Act.10, 7 f Yna y prophwydais fel i'm gorchymynasid, ac
44 fel yr oeddwn yn prophwydo bu llef, ac wele gyn-
nwrf, a'r escyrn a ddaethant [bob] ascwrn at ei
ascwrn.

8 Edrychais hefyd, ac wele cyfodase giau a chig
arnynt, gwiscase hefyd groen am danynt, ond nid
[oedd] yspryd ynddynt.

g Act.2,2 9 g Ac efe a ddywedodd wrthif, Prophwyda tua 'r
gwynt, prophwyda fab dyn, a dywet wrth y gwynt,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, O chwythad
tyret oddi wrth y pedwar gwynt, a chwyth ar y lladd-
edigion hyn fel y byddant byw.

h Dat.11, 10 h Felly y prophwydais fel i'm gorchymynasid, a'r
11 a 14, 1 chwythad a ddaeth ynddynt, fe! y buant byw, ac y
safasant ar eu traed yn llu mawr iawn.

i Hos. 1, 11 i Ac efe a ddywedodd wrthif, Ha fab dyn yr es-
11 cyrn hyn ydynt dŷ Israel oll: wele dywedant, Ein
Sal.141,7 Rhuf.11, hescyrn a wywasant, a'n gobaith a gollodd, torrwyd
17 ni ymmaith yn llwyr.
Ioan15,2 j Hos. 13, 12 j Am hynny prophwyda, a dywet wrthynt, Fel
14 hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Wele fi yn agori
Esa 26,19 Dan.12,2 eich beddau fy mhobl, codaf chwi hefyd o'ch beddau,
Ioan 5,28 a dygaf chwi i dŷ Israel.
29 Ier. 3, 18 13 A chewch wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd
pan agorwyf eich beddau, a phan gyfodwyf chwi o'ch
beddau fy mhobl.

k Esa61,8. 14 k Rhoddaf hefyd fy yspryd ynoch fel y byddoch
Ier. 31,38 byw, a gwnaf i chwi orphywys yn eich tir eich hun,
Esa. 26, a chewch wybod mai myfi 'r Arglwydd a leferais, ac
12 a wnaf hyn, medd yr Arglwydd.

15 A gair yr Arglwydd a ddaeth attaf, gan ddwedyd,
16 Tithe fab dyn cymmer it un prenn, ac scrifenna
arno at Iuda, ac at feibion Israel ei gyfeillion, a chym-
mer it brenn arall, ac scrifenna arno at Ioseph cyff
Ephraim, a holl dŷ Israel ei gyfeillion.

l Hos. 1, 17 l A nessa hwynt y naill at y llall yn un pren i ti,
11 fel y byddant yn un yn dy law di.
Esa 11,1 Zeph.3,9 18 Pan lefaro meibion dy bobl wrthit gan ddywedyd,
Phil. 2,2 Oni fynegi i ni beth [yw] hyn gennit?

19 m Dywet wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd m1Cron.
Dduw, Wele fi yn cymmeryd cyff Ioseph yr hwn 9,3 Rhuf.11,
[sydd] yn llaw Ephraim, a llwythau Israel dy gyfeill- 25
ion, ac mi ai rhoddaf hwynt wrtho ef, sef [wrth] gyff Mat. 28, 19
Iuda, ac ai gwnaf hwynt yn un prenn fel y byddant Eph.2,15
yn fy llaw yn un.

20 A bydded yn dy law o flaen eu llygaid hwynt y
prennau y rhai 'r scrifennech arnynt.

21 n A dywet wrthynt, Fel hyn y dywedodd yr Ar- n Gal. 4,
glwydd Dduw, Wele fi yn cymmeryd meibion Israel 25, 26
o fysc y cenhedloedd y rhai 'r aethant attynt, ac mi ai Heb. 12,
casclaf hwynt o amgylch, ac ai dygaf hwynt iw tir 22
eu hun.

22 o A gwnaf hwynt yn un genhedlaeth o fewn y tir o Esa. 11,
ym mynyddoedd Israel, ac un Brenin fydd yn frenin 13 Hos.1,11
iddynt oll: ni byddant hefyd mwy yn ddwy genhedl- Ioan10,16
aeth, ac ni rennir hwynt mwyach yn ddwy frenhiniaeth. 1 Tim. 2, 15

23 p Ac ni ymhalogant mwy wrth eu gau dduwiau, Dat. 11,
na thrwy eu ffiaidd-dra, nac yn eu holl anwiredd: eithr 15 p Esa. 49,
cadwaf hwynt oi holl drigfaon y rhai y pechasant yn- 12
ddynt, ac mi ai glanhaf hwynt, fel y byddant yn bobl Hos.1,10
i mi, minnef a fyddef yn Dduw iddynt hwythau.

24 q A'm gwâs Dafydd [fydd] brenin arnynt, ie un
bugail fydd iddynt oll: yn fy marnedigaethau mau fi q Hos.3,5
hefyd y rhodiant, a'm deddfau mau fi a gadwant, ac ai Ier. 23,5
gwnant hwynt. Ioan 10, 16

25 r Trigant hefyd yn y tir yr hwn a roddais i'm r Amos 9
gwâs Iacob, yr hwn y trigodd eich tadau ynddo, ie 15
hwynt a drigant ynddo ai meibion, a meibion eu meib- Esa. 60, 21
ion byth: Dafydd hefyd fyng-wâs [fydd] tywysog Ioel 3, 20
iddynt yn dragywydd.

26 s Gwnaf hefyd â hwynt gyfammod hedd, ammod s Dat. 21,
tragywyddol a fydd iddynt: canys rhoddaf hwynt lle'r 3
amlhauwyf hwynt, a rhoddaf fy sancteiddrwydd yn eu
mysc hwynt yn dragywydd.

27 A'm tabernacl fydd gyd â hwynt, ie byddaf iddynt
yn Dduw, a hwythau a fyddant i mi yn bobl.

28 t A'r cenhedloedd a gant wybod mai myfi yr Ar- t 1 Thes 5
glwydd ydwyf yn sancteiddio Israel: trwy fod fy 23
sancteiddrwydd yn eu mysc hwynt yn dragywydd.

## PEN. XXXVIII.

*Prophwydoliaeth am Gog a Magog.*

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth attaf, gan ddywed-
yd,

2 u Gosot dy wyneb fab dyn yn erbyn Gog: [a] thir u Dat.20,
Magog, pen-tywysoc Mesech, a Thubal, a phrophwyda 8
yn ei erbyn: Zec.14,1 3

3 v A dywet, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd v Zec. 14,
Dduw, Wele fi [yn dyfod] attat ti Gog pen-tywysoc 3 Dan.12.1
Mesech a Thubal,

4 Dychwelaf di hefyd a rhoddaf fachau yn dy foch- w Zec. 14,
gernau, ac mi a'th ddygaf allan, a'th holl lu: y meirch 12 Dat 16,
a'r marchogion wedi ei gwisco hwynt oll â phob 16
rhyw arfau yn gynnulleidfa fawr, [yn arferu helmau a
tharianuau, [ac] hwynt oll yn dwyn cleddyfau.

5 Y Persiaid, yr Ethiopiaid, a'r Phutiaid gyd â
hwynt, a hwynt oll yn dwyn tarian a helm. x Gen. 10,

6 x Gomer ai holl lu, tŷ Togarma, [perchenog] ystlys- 2 y Ioel 3,
sau y gogledd, ai holl lu, [a] phobl lawer gyd â thi. 11

7 y Ymbarattoa ie parattoa rhagot, ti a'th holl gyn- Dat. 16, 14
nulleidfa, y rhai a ymgynhullant attat, fel y byddech Esa. 8, 9,
yn ddiogelfa iddynt. 10 Sal. 2,1,3

8 z Wele dyddiau lawer yr ymwelir â thi, ac yn y 4
blynyddoedd diwethaf y deui i dir wedi dychwelyd z Hab. 2, 3
oddi wrth y cleddyf, wedi ei gasclu o bobloedd lawer Hos. 3, 5
ar fynyddoedd Israel, y rhai fuasent yn ang-hyfan- Zec 14 2 Hos. 2, 8

nedd bob amser: ïe efe a ddaw allan o'r bobloedd, a
hwynt oll a drigant mewn diogelwch.
aZec. 14, 2 9 [a] Dringi hefyd fel temmestl, deui [a] byddi fel
Dat.16,14 cwmwl i guddio'r ddaiar, tra'th holl lû a phobloedd
a 20, 8 lawer gyd â thi.
bEsa. 10, 7 10 [b] Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Bydd yn
Sal.83,3, 4 y dydd hwnnw i bethau ddyfod i'th feddwl, fel y
meddyliech feddwl drwg.
cEx.14.3 11 [c] A thi a ddywedi, Mi a âf i fynu i wlad maes-
Sal. 10,9, 9 drefydd, deuaf at y rhai llonydd, y rhai ydynt yn
presswylio yn ddiofal, gan drigo oll mewn trefydd
heb gaerau, ac heb drossolion na dorau iddynt:
d1Tim.6 10 12 [d] I yspeilio yspail, i sclyfaethu sclyfaeth, i ddych-
2Bren 24 13 welyd dy law ar anghyfannedd [leoedd] y rhai a gyf-
Neh. 6,1, 2 anneddir [yr awr hon,] ac ar bobl a gasclwyd o'r cen-
Gen. 26, 14 hedloedd y rhai a ddarparasant anifeiliaid, a golud,
[ac] ydynt yn trigo yng-hanol y wlad.
13 Seba, a Dedan, a marchnadyddion Tharsis hefyd,
ai holl lewod a ddywedant wrthit, Ai i yspeilio yspail
y daethost di? ai i sclyfaethu sclyfaeth y cesclaist y
gynnulleidfa? [ai] i ddwyn arian, ac aur, i gymmeryd
anifeiliaid, a golud, i yspeilio yspail fawr?
eDat 16, 15 14 [e] Am hynny prophwyda fab dyn, a dywet wrth
Ex. 14,3, 4 Gog, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw, Oni
chei di wybod y dydd hwnnw, pan bresswylio fy
Zec. 2,5, 8 mhobl Israel yn ddiofal?
fSal.2,1, 2 15 [f] Ie ti a ddeui o'th fangre dy hun, o ystlysau y
2Cron 20 gogledd, ti a phobl lawer gyd â thi, hwynt oll a
2, 3 farchogant feirch yn dyrfa fawr, ac yn llu lluosoc.
gDan.12 1 16 [g] A thi ei i fynu yn erbyn fy mhobl Israel, gan
Ex. 14, 4 guddio y ddaiar fel cwmwl, yn y dyddiau diwethaf y
Lef. 10,3 byddi, a mi a'th ddygaf yn erbyn fy nhir fy hun, fel
yr adwaeno y cenhedloedd fi pan ymsancteiddiwyf
ynot ti Gog o flaen eu llygaid hwynt.
hZec. 14 1, 20 17 [h] Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Ai tydi
Dan. 12, 1 yw'r hwn y lleferais [am] dano yn y dyddiau gynt
trwy law fyng-weision [sef] prophwydi Israel, y rhai
a brophwydasant yr amser hwnnw, am dy ddwyn di
yn eu herbyn hwynt?
iSal. 78, 65 18 [i] A bydd yn y dydd hwnnw [sef] yn y dydd y
delo Gog yn erbyn tir Israel (medd yr Arglwydd
Dduw) i'm llid gyfodi yn fy sorriant.
jZec. 14, 4 19 [j] Canys yn fyng-wŷn, [ac] yng-wrês fy nigllonedd
Dat. 16, 20 y dywedais, [Nad geirwir fi] oni bydde yn y dydd
hwnnw ddychryn mawr ar dir Israel.
kSal. 21, 9, 10 20 [k] Fel y dychrynne o'm blaen i byscod y môr, ac
ehediaid yr awyr, a bwyst-filod y maes, a phob ym-
lusciad yr hwn a ymlusco ar y ddaear: a phob dyn yr
hwn [fyddo] ar wyneb y ddaiar, yna y mynyddoedd a
ddryllir i lawr, a'r grissiau a syrthiant, a'r holl furiau
a gwypant i lawr.
lSal. 75.8 21 [l] Canys galwaf am gleddyf yn ei erbyn yn fy holl
Barn. 7, 22 fynyddoedd medd yr Arglwydd Dduw: cleddyf pob
2Cron.20 23 un fydd yn ei gyfaill ei hun.
mDan.12 1 22 [m] Mi a ddadleuaf hefyd âg ef drwy haint, a thrwy
Dat. 16, 21 waed: glawiaf hefyd gur-law, a cherrig cenllysc, tân
a brwmstan arno ef, ac ar ei holl luoedd ef, ac ar bobl-
Sal 11, 6 oedd lawer y rhai [fyddant] gyd âg ef.
nDat 15, 3, 4 23 [n] Ie ymfawrygaf ac ymsancteiddiaf, a pharaf fy
adnabod yng-olwg cenhedloedd lawer, fel y gwy-
pont mai myfi ydwyf yr Arglwydd.

## PEN. XXXIX.

*Difethiad Gog, a Magog.*

oDat. 8, 6 PROPHWYDA [o] di hefyd fab dyn yn erbyn Gog,
a dywet, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Wele fi attat Gog pen-tywysog Mesech, a Thubal.

2 Ac mi a'th ddychwelaf, ac a'th dreiaf hyd y chwech-
ed ran, ac a'th ddygaf i fynu o ystlysau y gogledd, ac
a'th ddygaf ar fynyddoedd Israel.
3 [p] Paraf hefyd daro dy fwa o'th law asswy, a gwnaf pSal 76,3
i'th saethau syrthio o'th law ddehau. Hos. 1,5, 6
4 [q] Ar fynyddoedd Israel y syrthi ti a'th holl luoedd, qDat.19, 17
a'r bobloedd y rhai [fyddant] gyd â thi, i'r ehediaid Esa. 34.6
[a] phob rhyw aderyn, ac [i] fwyst-filod y maes i'th
roddaf yn ymborth.
5 Ar wyneb y maes y syrthi, canys myfi ai dywedais
medd yr Arglwydd Dduw.
6 [r] Anfonaf hefyd dân ar Magog, ac ar y rhai a bres- rAmos 1 4
swyliant yr ynysoedd yn ddifraw, fel y gwypont mai Sal.72,10
myfi [ydwyf] yr Arglwydd.
7 A gwnaf adnabod fy enw sanctaidd yng-hanol fy
mhobl Israel, ac ni adawaf halogi fy enw sancteiddiol
mwy: fel y gwypo'r cenhedloedd mai myfi [ydwyf]
yr Arglwydd, Sanct yr Israel.
8 [s] Wele efe a ddaeth, ac a fu, medd yr Arglwydd sDat. 18, 2
Dduw, dymma'r diwrnod am yr hwn y dywedais. Sal. 12, 6
9 [t] Presswyl-wyr dinasoedd Israel a ânt allan, cyn- a 37, 13
neuant hefyd, a lloscant yr arfau, a'r tarian, a'r astalch, 1Sam.26, 10
a'r bwa, a'r saethau, y llaw-ffon hefyd a'r waiw-ffon: tMal. 1.5
ie lloscant hwynt mewn tân saith mlynedd. Sal.111,2 3
10 [u] Yna ni ddygant goed o'r maes, ac ni thorrant Dat. 19, 20
[ddim,] canys â'r arfau y cynneuant dân, yr yspeiliant uMat. 7, 2
eu hyspeilwyr, ac yr sclyfaethant [oddi ar] eu sclyf-
aeth-wyr medd yr Arglwydd Dduw. Dat 13,10 a 18, 6
11 Bydd hefyd yn y dydd hwnnw i'm roddi yno i
Gog le bedd yn Israel, sef y dyffryn trwy yr hwn y
tramwyant tua môr y dwyrain: efe a gae [ffroenau] y
tramwy-wr, canys yno y claddant Gog ai holl dyrfa,
a galwant [ef] Dyffryn tyrfa Gog.
12 A thŷ Israel fyddant yn eu claddu hwynt saith
mis, er mwyn glanhau y tir.
13 Ie holl bobl y tîr ai claddant, a [hyn] fydd enwoc
iddynt, y dydd yr ymogoneddwyf medd yr Arglwydd
Dduw.
14 [v] Dewisant hefyd bob amser wŷr y rhai a gyn- vNum.19 11
niwerant trwy'r wlad gyd â'r rhai a drammwyant i
gladdu y rhai a adewir ar wyneb y ddaiar, iw glanhau
hi: ym mhen saith mis y chwiliant.
15 A'r trammwy-wyr a gynniwerant trwy'r tir, a
phan welo [un] ascwrn dyn, efe a gyfyd nôd wrtho
ef: hyd oni chladdo y claddwyr ef yn Nyffryn tyrfa
Gog.
16 Henw y ddinas hefyd [fydd] Hamonah: felly y
glanhânt y wlad.
17 [w] Tithe fab dyn fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wEsa. 34 6
Dduw, Dywet wrth bob rhyw aderyn, ac wrth holl Ier.46,10
fwyst-filod y maes, Ymgesclwch, a deuwch, ymgyn- Seph.1.7 8
hullwch oddi amgylch at fy aberth yr hwn yr ydwyfi Dat. 19, 17
yn ei aberthu i chwi, yn aberth mawr ar fynyddoedd Esa. 28.6
Israel: yna y bwyttewch gig, ac yr yfwch waed. Ier 12, 9
18 [x] Cig y cedyrn a fwyttewch, a gwaed tywysogion xSal. 22, 12
y wlad a yfwch [sef] hyrddod, ŵyn, a bychod, bys- Num.32, 4
tych, [a] phascedigion Basan hwythau oll.
19 Bwyttewch hefyd fraster hyd ddigon, ac yfwch Deut.32, 14
waed hyd oni feddwoch arno, o'm haberth yr hwn a
aberthais i chwi.
20 [y] Felly i'ch diwellir ar fy mwrdd maufi, o farch a y2Sam. 8 4
cherbyd, o gadarn, a phob rhyfel-wr, medd yr Argl- Dat. 19, 18
wydd Dduw.
21 [z] Felly y gosodaf allan fyng-ogoniant ym mysc y zSal 9.16
cenhedloedd, a'r holl genhedloedd a gânt weled fy Ieb 41.20
marnedigaeth yr hon a wneuthum, a'm llaw'r hon a Gen. 35, 2 Iob 13,21

osodais arnynt.

22 A thŷ Israel a gânt wybod mai myfi [ydwyf] yr Arglwydd eu Duw hwynt, o'r dydd hwnnw allan,

aGalar.3 39 Esa.10,5 2Cron.15 2 Sal.27,9 Esa.59,1 23 a Y cenhedloedd hefyd a gânt wybod mai am eu hanwiredd eu hun y caeth-gludwyd tŷ Israel, o herwydd gwneuthur o honynt gamwedd i'm herbyn, am hynny y cuddiais fy wyneb oddi wrthynt, ac y rhoddais hwynt yn llaw eu gelynnion: a hwynt oll a syrthiasant trwy 'r cleddyf.

24 Yn ol eu haflendid eu hun, ac yn ol eu hanwireddau y gwneuthum â hwynt, ac y cuddiais fy wyneb oddi wrthynt.

bHos.3,5 a 10,3 Rhuf.11 25 Hos.1,10 25 b Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Yr awr hon y dychwelaf gaethiwed Iacob, tosturiaf hefyd wrth holl dŷ Israel, a gwynfydaf dros fy enw sanctaidd:

26 Wedi dwyn o honynt eu gwradwydd, ai holl gamwedd yr hyn a wnaethant i'm herbyn: pan drigent yn eu tir eu hun yn ddifraw, ac heb ddychrynnudd:

27 Pan ddychwelwyf hwynt oddi wrth bobloedd, ai casclu hwynt o wledydd eu gelynion, yna yr ymsancteiddiaf ynddynt yng-olwg cenhedloedd lawer:

cIer.3,18 28 c A chânt wybod mai myfi yr Arglwydd eu Duw hwynt [oeddwn] yn eu caeth-gludo hwynt at y cenhedloedd, ac ai casclaf hwynt iw tîr eu hun, ac ni adawaf mwy [un] o honynt yno.

d Ioel 2 28 29 d Ni chuddiaf ychwaith fy wyneb mwy oddi wrthynt, o herwydd tywelltais fy Yspryd ar dŷ Israel medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XL.

*Prophwydoliaeth am adnewyddiad y ddinas, a'r deml ysprydol.*

e 2Bren. 25,1,3 "YN e y bummed flwyddyn ar hugain o'n caethgludiad ni, yn nechreu y flwyddyn, ar y decfed [dydd] o'r mis, yn y bedwaredd flwyddyn ar ddec wedi taro y ddinas: o fewn corph y dydd hwnnw y daeth llaw 'r Arglwydd arnaf, ac efe a'm dug fi yno.

f Dat.21, 10 Dat.21,2 Gal.4,26 2 f Yng-weledigaethau Duw y dug efe fi i dir Israel, ac efe a'm gosododd ar fynydd uchel iawn, ac arno o'r tu dehau [yr oedd] megis adailadaeth dinas.

g Dat.1, 15 Sal.102, 27.28 3 g A phan ddug efe fi yno, wele ŵr ai welediad fel gwelediad prês, ac yn ei law linin llin, a chorsen fessur, ac yr ydoedd efe yn sefyll o fewn y porth.

h Dat.21, 15 Dat.11,1 Gal.6,16 Ioan 10,2 Heb.1,2 Dat.3.7 4 h A dywedodd y gŵr wrthif, Ha fab dyn gwel a'th lygaid, gwrando hefyd a'th glustiau, a gosot dy feddwl ar yr hyn oll a ddangoswyf it: o herwydd er mwyn dangos i ti [hyn,] i'th ddugwyd ymma: dangos dithe i dŷ Israel yr hyn oll a weli di.

h1Cor11 23 i Eph.3, 13 Phil.2.7 1Cor.13, 9 5 i Ac wele fûr o'r tu allan i'r tŷ o amgylch ogylch, a chorsen fessur yn llaw'r gŵr yn chwe chufydd, o gufydd a dyrnfedd [bob un:] ac efe a fesurodd led yr adailadaeth ag un gorsen, a'r uchter a chorsen arall.

Eph.4,12 j Mat.7, 13 Dat.21, 27 6 j Ac efe a ddaeth i'r porth yr hwn [oedd] ai wyneb tu a'r dwyrain, ac a ddringodd ar hyd ei rissiau ef, ac efe a fesurodd orsing y porth yn un gorsen o led, a'r gorsing arall yn gorsen arall o led.

k Ioan14, 2 7 k Stafell hefyd [oedd] un gorsen o hyd, a chorsen arall o led, a phump cyfydd [oedd] rhwng y stafelloedd: a gorsing y porth wrth gyntedd y porth o'r tu mewn [oedd] un gorsen.

Hos13,17 8 z Efe a fesurodd hefyd gyntedd y porth oddi fewn yn un gorsen.

9 Ac a fesurodd gyntedd y porth yn wyth gufydd, ai ractaloedd yn ddau gufydd, sef cyntedd y porth oddi fewn.

10 Stafelloedd hefyd y porth tu a'r dwyrain [oeddynt] dair o'r tu ymma, a thair o'r tu accw, un fesur [oedd] iddynt ill tair, un fessur i'r rhactaloedd o'r ddeu-tu.

11 Ac efe a fesurodd led drws y porth yn ddec cufydd, [ac] uchter y porth yn dri chufydd ar ddec.

12 A'r terfyn o flaen y stafelloedd [oedd] un cufydd, a'r terfyn o'r tu arall yn un cufydd, [pob] stafell hefyd [oedd] chwe chufydd o bob tu.

13 Ac efe a fesurodd y porth o nenn y stafell hyd ei nenn yntef, yn bum cufydd ar hugain o led ddrws yn ddrws.

14 m Ac efe a wnaeth y rhactaloedd yn dri ugain cyfydd, a [hynny] hyd ractal cyntedd y porth oddi amgylch. mSal.87, 2 Esa.54,2 a 60.8 a 62,9

15 Ac o [du] wyneb porth y dyfodiad i mewn hyd du wyneb cyntedd y porth oddi mewn [yr oedd] dec cufydd a deugain. Sal.63,4 a 83.2,5 a 100,4

16 A ffenestri caedic [oeddynt] yn y stafelloedd: ac yn eu rhactaloedd, o fewn y porth o amgylch ogylch, ac felly [yr oedd] yn y bwâu meini, a'r ffenestri [oeddynt] o amgylch ogylch o fewn, ac [yr oedd] palmwydd ar [bob] rhactal.

17 n Ac efe am dug i i'r cyntedd nesaf allan, ac wele stafelloedd, a phalmant wedi eu gwneuthur o amgylch ogylch i'r cyntedd: dec stafell ar hugain [oedd] ar y palmant. n Ioan 14, 2 Esa.4,4,5 a 32.2 Mat.16, 18 Ester1,6

18 A'r palmant [oedd] gan ystlys y pyrth ar gyfer hyd y pyrth: a'r palmant [oedd] oddi tanodd.

19 Ac efe a fesurodd y llêd o du wyneb y porth issaf hyd du wyneb y cyntedd oddi fewn, yn gant cufydd oddi allan, tua dwyrain a gogledd..

20 A'r porth yr hwn [oedd] ai wyneb tua 'r gogledd, ar y cyntedd nesaf allan a fesurodd efe ei hyd, ai led.

21 Ei stafelloedd ef [oeddynt] dair o bobtu, ac yr ydoedd ei ractaloedd, ai fwau meini wrth fessur y porth cyntaf yn ddec cufydd a deugain ei hyd, a'r lled yn bump cufydd ar hugain.

22 o Eu ffenestri hefyd ai bwau meini, ai palm-wydd [oeddynt] wrth fessur y porth yr hwn [oedd] ai wyneb tua 'r dwyrain: a'r hyd saith o rissiau hefyd y dringent iddo: ai fwau meini [oeddynt] oi blaen hwynt. oSal.34, 7 Pedr 1, 5 1Cor.15, 9

23 p A phorth y cyntedd nesaf i mewn [oedd] ar gyfer porth y gogledd, a'r dwyrain: ac efe a fesurodd o borth i borth gant cufydd. pPhil.3, 16

24 Ac efe a'm dug i tua 'r deau ac wele borth tua 'r deau, ac efe a fesurodd ei ractaloedd, ai fwau meini wrth y messurau hyn,

25 q Ffenestri hefyd [oeddynt] iddo, ac iw fwâu meini o amgylch ogylch fel y ffenestri hyn yn ddec cufydd a deugain o hyd, ac yn bump cufydd ar hugain o led. q 1Bren. 6,4

26 Saith o rissiau hefyd [oedd] ei ddringfa ef, ai fwâu meini oi blaen hwynt: [yr oedd] hefyd iddo balm-wydd un o bob tu ar ei ractaloedd:

27 Ac [yr oedd] porth ar y cyntedd nessaf i mewn tua'r deau, ac efe a fesurodd o borth i borth tu a'r deau gant cufydd.

28 Ac efe a'm dug i'r cyntedd nessaf i mewn trwy borth y deau, ac a fesurodd borth y deau wrth y mesurau hyn.

29 r Ie ei stafelloedd, ai ractaloedd ai fwâu meini [oedd] wrth y messurau hyn: yr oedd hefyd ffenestri arno, ac ar ei fwâu meini o amgylch ogylch, dec cufydd a deugain [oedd] yr hyd, a phum cufydd ar hugain y lled. r Neh.13, 5,9,11,12

30 A'r bwâu meini o amgylch ogylch [oeddynt] yn

bump cufydd ar hugain o hyd, ac yn bump cufydd o lêd.
s Sal. 94, 31 s Ai fwâu meini [oeddynt] tua 'r cyntedd nessaf
12, 13 allan, a phalm-wŷdd ar ei ractaloedd, ac wyth o ris-
Can. 7,7, siau [oedd] ei ddringfa ef.
8 32 Ac efe am dûg i i'r cyntedd nesaf i mewn tua 'r
Dat. 7,9 dwyrain, ac a fesurodd y porth wrth y mesurau hyn:
33 Sef ei stafelloedd ai ractaloedd, ai fwâu meini
[oeddynt] wrth y messurau hyn: [yr oedd] hefyd ffen-
estri iddo ef, ac iw fwâu meini o amgylch ogylch: yr
hyd [oedd] ddec cufydd a deugain a'r lled yn bump
cufydd ar hugain.
t2Pedr1. 34 t Ai fwâu meini [oeddynt] tua 'r cyntedd nesaf
5 1Cor. 13, allan, a phalm-wydd ar ei ractaloedd o bob tu, ai
9, 10, 12 ddringfa [oedd] wyth o rissiau.
Eph.4,13 11,15 35 Ac efe am dûg fi i borth y gogledd, ac ai mesur-
Mat. 13, odd wrth y mesurau hyn,
23 Phil 1,9 36 Ei stafelloedd, ei ractaloedd, ei fwâu meini: ac
2Pedr 3, [yr oedd] ffenestri iddo o amgylch ogylch, yr hyd
18 [oedd] ddec cufydd a deugain, a'r llêd [oedd] bump
Hos. 6,1 cufydd ar hugain.
37 Ai ractaloedd [oeddynt] tua 'r porth nesaf allan,
a phalm-wydd ar ei ractaloedd o bob tu, ai ddringfa
[oedd] wyth o rissiau.
uTit.3,5 38 u Ac [yr oedd] celloedd a drysau o fewn rhactal-
1 Cor. 6, 11 oedd y pyrth, yno y golchent y poeth offrwm.
Heb. 10, 39 v Ac yng-hyntedd y porth [yr oedd] dau fwrdd
22, 23 Iago 4,8 o'r tu ymma, a dau fwrdd o'r tu accw, i ladd y poeth
vHeb.10, offrwm, a'r pech-aberth, a'r aberth tros gamwedd arnynt.
1, 4, 5 Gal. 3,1, 40 Ac ar yr ystlys oddi allan lle y dringir i ddrws
3 porth y gogledd [yr oedd] dau fwrdd, a dau fwrdd ar
1Cor. 11, yr ystlys arall yr hwn [oedd] wrth gyntedd y porth.
24 Esa66.20 41 Pedwar bwrdd [oedd] o'r tu ymma, a phedwar
Rhuf.15, bwrdd o'r tu accw ar ystlys y porth: ar yr wyth bwrdd
16 hyn y lladdent [eu haberthau.]
42 A phedwar bwrdd y poeth offrwm [oeddynt] o
gerrig nâdd, yn un cufydd a hanner o hyd, ac yn un
cufydd a hanner o lêd, ac yn un cufydd o uchder: ar-
nynt hwy hefyd y gosodent yr offer, y rhai y lladdent
yr offrwm poeth, a'r aberth â hwynt.
43 Hefyd [yr oedd] bachau o un ddyrnfedd wedi eu
parotoi o fewn o amgylch ogylch, a chig yr offrwm
[oedd] ar y byrddau.
44 w Ac o'r tu allan i'r porth nesaf i mewn [yr oedd]
wEph.5, stafelloedd y cantorion o fewn y cyntedd nesef i mewn,
19 Col. 3,16 yr hwn [oedd] ar ystlys porth y gogledd, ai hwynebau
Rhuf.12, tua 'r deau: un [oedd] ar ystlys porth y dwyrain tua
6 ffordd y gogledd.
1Cor. 12, 45 x Ac efe a ddywedodd wrthif, Yr stafell hon yr
5 Eph 4.11 hon [sydd] ai hwyneb tua'r deau [sydd] i'r offeiriaid y
xNum. 3 rhai a orchwyliant y Deml.
7 Lef. 8,35 46 y A'r stafell yr hon [sydd] ai hwyneb tua 'r gog-
1 Cron 23 ledd [sydd] eiddo yr offeiriaid y rhai a orchwyliant yr
27 yLef6,13 allor: y rhai hynny [ydynt] feibion Zadoc, y rhai
13 Bren. 2, ydynt o feibion Lefi yn nessau at yr Arglwydd i weini
25 iddo ef.
Eph.1,17 Rhuf 1,9 47 Ac efe a fesurodd y cyntedd yn sgwâr, sef yn
0 gant cufydd o hyd, ac yn gant cufydd o lêd, a'r allor
Col. 1,12 [oedd] o flaen y Deml.
48 z Ac efe a'm dug fi i borth y Deml, ac a fesurodd
Ioan10, ractal y porth yn bump cufydd o'r naill du, ac yn
9 a 14, 6 bump cufydd o'r tu arall, a lled y porth [oedd] dri
cr.41,10 chufydd o'r naill du, a thri chufydd o'r tu arall.
49 a Y cyntedd oedd ugain cufydd o hyd, ac un
Dat. 3, cufydd ar ddec o led, a grissiau ar hyd y rhai y dring-
1 ent iddo: hefyd [yr ydoedd] colofnau wrth y rhactal-
oedd, un o'r naill du, ac un o'r tu arall.
RHIF. XVII.

PEN. XLI.

*Gweledigaeth am adailadu y Deml ai mesur yn arwyddocau adailadaeth a chynnydd eglwys Grist.*

A C b efe a'm dug i i'r Deml, ac a fesurodd y rhac-
taloedd yn chwech chufydd o led o'r naill du, b2Cor. 3
ac yn chwech chufydd o led o'r tu arall, [fel yr oedd] 5 a 6, 16
lled y babell. Dat 21,3
2 c Lled y drws hefyd [oedd] ddec cufydd, ac ys- Ex.26,33
tlysau y drws yn bump cufydd o'r naill du, ac yn bump cIoan 10,
cufydd o'r tu arall: ac efe a fesurodd ei hyd ef yn 9 a 14, 6 2Cron.3,
ddeugain cufydd, a'r lled yn ugain cufydd. 14
3 Ac efe a ddaeth i mewn, ac a fesurodd ractal y Ex.26,31
drws yn ddau gufydd, a'r drws yn chwech chufydd,
a lled y drws yn saith gufydd.
4 Ac efe a fesurodd ei hyd ef yn ugain cufydd, a'r
lled yn ugain cufydd o flaen y Deml, ac efe a ddywed-
odd wrthif. Dymma y cyssegr sancteiddiolaf.
5 Ac efe a fesurodd bared y tŷ yn chwech chufydd,
a lled yr ystlys-gell yn bedwar cufydd o amgylch
ogylch i'r tŷ.
6 d A'r celloedd [oeddynt] gell ar gell yn dair troed-
fedd a'r ddec ar hugain [o uchder,] a [swmmerau] y dMat.16
celloedd oeddynt yn cyrheuddyd ar bared y tŷ o am- 18 1Pedr 1,
gylch ogylch, fel y byddent yng-lŷn, ac nid oeddynt 5
yng-lŷn o fewn pared y tŷ. Mat.7.24
7 e Felly [y lle oedd] yn ehangach, a'r grissiau oedd- 1Ioan4,1
ynt yn myned i fynu i'r celloedd, o herwydd grissiau a 6, 59
y tŷ oeddynt yn myned i fynu o amgylch i'r tŷ, am 1Cor. 15,
hynny y tŷ oedd ehangach oddi arnodd: ac felly y 58 e2Pedr3
dringid o'r issaf i'r uchaf trwy 'r ganol. 18 Eph.4,13
8 Gwelais hefyd uchter y tŷ o amgylch ogylch, seil- Sal. 84.7
iau gwadnau y celloedd [oeddynt] gorsen helaeth o Mat. 13,
chwech chufydd hyd y geseil. 23 Phil. 1,9
9 Lled y pared yr hwn [oedd] i'r gell o'r tu allan Heb. 6,1
[oedd] bump cufydd, a'r gweddill [oedd] le i'r celloedd Ioan 15,8
y rhai oeddynt o fewn.
10 A rhwng yr stafelloedd [yr oedd] lled ugain cufydd
yng-hylch y tŷ o amgylch ogylch.
11 f Dryssau yr ystlys-gell [oeddynt] tua 'r [llannerch]
weddill: un drws tua 'r gogledd, ag un drws tua'r deau f Esa.60,
a lled y fan a weddillasid [oedd] bump cufydd o amgylch 11 Dat. 21,
ogylch. 25
12 A'r adailadaeth yr hon [oedd] o flaen y llannerch Esa. 2,2,
nailldduol tu ag ystlys y gorllewyn [oedd] ddec cufydd 3 a 11, 11
a thrugain o led, a phared yr adailadaeth [oedd] bump
cufydd o led o amgylch ogylch, ai hyd [oedd] ddec
cufydd a phedwar ugain.
13 Ac efe a fesurodd y tŷ yn gant cufydd o hyd, a'r
llannerch nailldduol, a'r adailadaeth, ai pharwydydd
yn gant cufydd o hyd.
14 A lled talcen y tŷ, a'r llannerch nailldduol tua 'r
dwyrain [oedd] gant cufydd.
15 g Ac efe a fesurodd hyd yr adailadaeth ar gyfer y
llannerch nailldduol yr hon [oedd] o'r tu cefn iddo, ai gCan. 7,
stafelloedd o'r ddau tu yn gant cufydd, a'r Deml oddi 5 Sal.45,11
fewn, a dryssau y cyntedd. Hos.2,19
16 h Y gorsingau, a'r ffenestri caeedic, a'r stafelloedd Esa. 62,4
o amgylch ar dri thu, ar gyfer y rhiniog, a ystyllen- Ioan 14, 23
nasid â choed o amgylch ogylch: o'r llawr hyd y ffen- Dat. 22,
estri, a'r ffenestri hefyd a ystyllennasid. 3 h 1Bren.
17 Uwch benn y drws, ac hyd y tŷ o fewn, ac allan, 6, 4
ac ar bob pared o amgylch ogylch o fewn ac allan [y i Sal. 92,
cymmerodd efe] fesurau. 12
18 i Cerubiaid hefyd a phalm-wydd a weithiasid, sef 1Bren.6, 29
palm-wydden rhwng pob dau Gerub, a dau wyneb Eph 1,1
[oedd] i [bob] Cerub. Dat. 7, 9 1Bren 7, 36

19 j Canys wyneb dyn [oedd] tua 'r balmwydden o'r
j Heb. 1, 14 naill du, ac wyneb llew tua 'r balmwydden o'r tu
Luc 15, 7 10 arall, wedi ei weithio ar hyd y tŷ o amgylch ogylch.
20 Cerubiaid a phalm-wydd a weithiasid o'r ddaiar
Heb. 12, 22 hyd oddi ar y drws: felly [yr oedd] pared y Deml.
21 k Pedwar ochroc [oedd] pyst y Deml: a gwedd
k Lef. 4, 6 y cyssegr ydoedd yr un modd.
a 16, 2, 3 22 l Yr allor bren [oedd] dri chufydd ei huchder, ai
Sal. 20, 2 l Ex. 30, 1 hyd yn ddau gufydd: ei chonglau ai huchder, ai hys-
2 Cron. 4 19 tlysau [oeddynt] o bren: ac efe a ddywedodd wrthif,
Ioan 4, 23 Dymma y bwrdd yr hwn [sydd] ger bron yr Ar-
1 Ioan 2 1 2 glwydd.
Dat. 5, 8. 23 Ac [yr ydoedd] dau ddrws i'r Deml, ac i'r cyssegr.
Mal. 1, 12 24 m A dwy ddôr i'r dryssau [sef] dwy ddôr blyged-
Mat. 8, 11 m Ioan 10 7 ic, dwy ddôr i'r naill ddrws, a dwy i'r llall.
25 Ac arnynt y gwneuthid yn nryssau y Deml Cerub-
Act. 15, 27 iaid a phalm-wydd, fel y gwneuthid ar y parwydydd:
1 Cor. 16 8 ac [yr oedd] trawstiau o flaen y cyntedd o'r tu allan.
26 n Fenestri caeedic hefyd, a phalm-wydd [oeddynt]
n Ioan 14, 2 o bob tu ar ystlysoedd y porth: ac ar ystlysau y tu, a
thrawstiau.

## PEN. XLII.

*Trefn y stafelloedd y rhai oeddynt yn y Deml i'r offeiriaid, ac i'r pethau cyssegredic.*

o Dat. 11, 2 "AC o efe am dûg i'r cyntedd nesaf allan, tua ffordd
y gogledd, ac a'm dûg i stafell yr hon [oedd] ar
gyfer y llannerch neillduol yr hon [oedd] ar gyfer yr
adail, tua'r gogledd.
2 Drws y gogledd [oedd] ar gyfer hŷd y cant cufydd,
a llêd y dêo cufydd a deugain.
3 Ac ar gyfer yr ugain [cufydd] y rhai [oeddynt] i'r
cyntedd nesaf i mewn, ac ar gyfer y palmant, yr hwn
[oedd] i'r cyntedd nesaf allan, [yr ydoedd] stafell ar
gyfer stafell yn dair [rhês.]
p Dat. 3, 4 4 p Ac ar gyfer yr ystafelloedd [yr oedd] rhodfa yn
a 21 24 ddec cufydd o lêd, y ffordd o fewn [oedd] un cuf-
Sal. 48, 12 ydd, ai dryssau [oeddynt] tua 'r gogledd.
a 112, 2 q 1 Cor. 15 42 5 q A'r stafelloedd uchaf [oeddynt] gulion, o herwydd
Mat. 10, yr stafelloedd [hyn] oeddynt [megis] yn llyncgu y
41, 42 lleill [sef] y rhai issaf, a'r rhai canol o'r adailadaeth.
a 19, 28, 29 6 Canys traianoc [oeddynt] hwy, ac heb golofnau
Dan. 12, 3 iddynt, fel colofnau y cynteddoedd: am hynny yr
Dat. 20, 4 oeddynt hwy yn gyfyngach na'r rhai issaf, ac na'r
5 rhai canol o'r llawr [i fynu.]
r Esa. 5, 2 7 r A'r clawdd yr hwn oedd o'r tu allan ar gyfer yr
a 26, 1 stafelloedd tua'r cyntedd nesaf allan o flaen yr stafell-
a 30, 19 a 60, 18 oedd [oedd] ddec cufydd a deugain ei hyd,
Ier. 15, 20 8 O herwydd hyd yr stafelloedd yr rhai [oeddynt]
Zec. 2, 5 Iob 2, 10 yn y cyntedd nesaf allan [oedd] ddec cufydd a deu-
gain: ac wele o flaen y Deml [yr oedd] cant cufydd.
9 Ac oddi tann y stafelloedd hyn [yr ydoedd] drws
o du'r dwyrain, ffordd yr elid iddynt hwy o'r cyntedd
nesaf allan.
10 O fewn lled clawdd y cyntedd tua'r dwyrain ar
gyfer y llannerch neillduol, ac ar gyfer adail yr stafell-
oedd.
11 A'r ffordd oi blaen hwynt [oedd] yn ol dull y
stafelloedd y rhai *oeddynt* tua'r gogledd, un hyd â
hwynt [oeddynt,] felly [yr oedd] eu lled hwynt: ai
holl ddrysau, ïe un wedd oeddynt, ac yn agorid yr
un modd.
12 Ac [yr ydoedd] drws (fel drysau y stafelloedd y
rhai [oeddynt] tua'r deau) ym mhen y ffordd [sef] y
ffordd ym mhen y clawdd yn iniawn tua 'r dwyrain
yn y ddyfodfa i mewn.

13 s Ac efe a ddywedodd wrthif, Stafelloedd y gog- s Lef. 6, 16
ledd [ac] stafelloedd y deau y rhai [ydynt] ar gyfer y 26 a 7, 1 a 2, 3, 10
llannerch neilltuol, stafelloedd y cyssegr [yw] y rhai a 23, 10
hynny: lle y bwyttu'r offeiriaid y rhai a nessânt at yr
Arglwydd y petheu sanctaidd cyssegredic, ac yno y
gosodant y sanctaidd bethau cyssegredic, a'r bwyd
offrwm, a'r pech aberth, a'r aberth tros gamwedd,
canys lle cyssegredic [yw.]
14 t A phan ddelo yr offeiriaid i mewn iddynt, nid t Sal. 45, 13
ânt allan o'r cyssegr i'r cyntedd nesaf allan, eithr yno Esa. 61,
y gosodant eu dillad, y rhai y gwasanaethant ynddynt, 10
am [eu bod] hwy yn sanctaidd: a gwiscant hwy wisc- 1 Tim. 4, 12
oedd eraill, pan nessaont i'r lle yr hwn [sydd] i'r bobl. Can. 4, 11
15 u Pan orphennodd efe fesuro y tŷ o fewn, yna efe Gal. 3, 27
a'm dug i tua 'r porth yr hwn [sydd] ai wyneb tua 'r u Zec. 14, 20, 21
dwyrain, ac ai mesurodd ef o amgylch ogylch. Dat. 21, 27
16 Efe a fesurodd du'r dwyrain â chorsen fessur, yn a 22, 3
bump cant o gorsennau, wrth gorsen fessur oddi am-
gylch.
17 v Efe a fesurodd du yr gogledd yn bump cant v Dat. 11, 2 a 11, 15
corsen, wrth gorsen fesur oddi amgylch. Zec. 2, 1
18 Y tu deau a fesurodd efe yn bump cant corsen
wrth gorsen fesur.
19 Efe a aeth o amgylch i du y gorllewyn, ac a
fessurodd bump cant corsen wrth gorsen fesur.
20 Efe a fesurodd ei bedwar ystlys ef, mûr [oedd]
iddo ef o amgylch ogylch, yn bump cant [corsen] o
hyd, ac yn bump cant [corsen] o lêd, i wahanu rhwng
y cyssegr a'r digyssegr.

## PEN. XLIII.

*Y prophwyd yn gweled gogoniant Duw yn myned i'r Deml; gan arwyddoccau y bydde gogoniant eilwaith i eglwys Dduw. 7 Gau-dduwiaeth y bobl. 9 Y prophwyd yn eu hannog hwy i edifeirwch: ac yn gweled arwyddion o faddeuant eu pechodau.*

"AC efe a'm dug fi i'r porth [sef] y porth yr hwn
sydd yn edrych tua'r dwyrain.
2 w Ac wele ogoniant Duw 'r Israel yn dyfod oddi w Mal. 3, 1
wrth y dwyrain, ai lais fel sŵn dyfroedd lawer, a'r Dat. 1, 15
ddaiar yn discleirio oi ogoniant ef. a 18, 1
3 A'r golwg [oedd] fel y golwg a welswn, [sef] fel
y golwg yr hwn a welais pan ddaethwn yng-hylch
difetha y ddinas: ïe y gweledigaethau [oeddynt] fel y
weledigaeth yr hon a welswn wrth afon Chebar: yna
y syrthiais ar fy wyneb.
4 x A gogoniant yr Arglwydd a ddaeth i'r tŷ [ar hyd] x 2 Cor. 3,
ffordd y porth yr hwn [sydd] ai wyneb tua'r dwyrain. 17
5 Yna yspryd a'm cododd fi, ac a'm dug i'r cyntedd
nesaf i mewn, ac wele llanwase gogoniant yr Ar-
glwydd y tŷ.
6 Clywn hefyd [un] yn llefaru wrthif o'r tŷ: ac yr
ydoedd gŵr yn sefyll yn fy ymyl:
7 y Ac efe a ddywedodd wrthif, Ha fab dyn [dymma] y Dat. 3, 21
lle fyng-orseddfa, a lle gwadnau fy nhraed, (lle y Ioan 14,
trigaf ym mysc meibion Israel yn dragywydd) a'm 23
henw sanctaidd ni haloga tŷ Israel mwy, hwynt ai Dat. 21, 3
brenhinoedd trwy eu putteindra, na thrwy gyrph a 22, 3 Ioel 3, 17
meirw eu brenhinoedd [yn] eu huchel-leoedd, Zec. 14, 20, 21
8 z Er rhoddi o honynt eu rhinniog wrth fy rhinniog z Esa. 26,
mau fi, ai gorsyn wrth fyng-orsyn mau fi, a phared 13
rhyngof fi â hwynt, etto hwynt a halogasant fy enw 1 Bren 18 21
sanctaidd âi ffieidd-dra hwynt y rhai a wnaethant: am
hynny mi ai hyssais hwynt yn fy llid.
9 a Pellhânt yr awr hon eu putteindra, a chelanedd a 2 Cor. 7, 1
eu brenhinoedd oddi wrthif fi, ac mi a drigaf yn eu Hos. 3, 5
mysc hwy yn dragywydd.

b Dat. 21, 9 — 10 b Ti fab dyn, mynega am y tŷ hwn i dŷ Israel fel y cywilyddiant am eu hanwireddau, ac y mesurant siampl [iddynt eu hun.]

c Sal. 25, 13 Mat. 3, 1 a 7, 6 a 23, 20 1Pedr 2, 4 Eph 2, 20 21 — 11 c Ac os cywilyddiant am yr hyn oll a wnaethant, yspyssa iddynt, ac yscrifenna o flaen eu llygaid hwynt bortreiad y tŷ ai lûn, ai fynediadau allan, ai ddyfodiadau i mewn, ie ei holl ddull, ai holl ddeddfau, ai holl luniau, ai holl gyfreithiau, fel y cadwant ei holl ddull ef, ai holl ddeddfau, ac y gwnelant hwynt.

1Cor. 11, 23 d Gal. 4, 26 — 12 d Dymma ddull y tŷ, ar benn y mynydd [y bydd] ei holl derfyn ef, yn gyssegr sancteiddiolaf o amgylch ogylch: wele dymma ddull y tŷ.

1Cor. 11 23 Sal. 15, 1 Dat. 21, 2 Heb. 13 10 — 13 e Dymma fesurau'r allor wrth gufyddau, o gufydd a dyrnfedd [bob] cufydd: y gwaelod [fydd] gufydd, a'r lled yn gufydd, a'r ymyl-waith ar ei min yn un rhychwant o amgylch: ac dymma uchter yr allor.

1Pedr 2, 5 — 14 Ac o'r gwaelod [yr hwn fydd ar] y llawr hyd y darn issaf [y bydd] dau gufydd ac un cufydd o lêd a phedwar cufydd o'r darn lleiaf hyd y mwyaf, a chufydd o lêd.

15 A'r allor [oedd] bedwar cufydd, ac o'r allor [yr oedd] hefyd tu ag i fynu bedwar o gyrn.

16 A'r allor [oedd] ddeuddec [cufydd] o hyd, a deuddec o lêd, yn scwâr yn ei phedwar ystlys.

f 1 Bren. 18, 32 — 17 f A'r ffrâm [oedd] bedwar [cufydd] ar ddec o hyd, a phedwar ar ddec o lêd hyd ei phedair congl, a'r ymyl-waith o amgylch iddi yn hanner cufydd, a gwaelod iddi yn gufydd o amgylch: ai grissiau yn edrych tua'r dwyrain.

18 Ac efe a ddywedodd wrthif, Ha fab dyn, fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw: Dymma ddeddfau 'r allor, yn y dydd y gwneler hi, i boeth-offrymmu poeth offrwm, ac i daenellu gwaed arni.

g 2Cor. 5 21 — 19 g Yna y rhoddi at y Lefiadaidd offeiriaid (y rhai ydynt o hâd Zadoc, yn nessau attafi medd yr Arglwydd Dduw i'm gwasanaethu) fustach ieuangc yn bech-aberth.

h Heb. 9, 24 2Cor. 3, 6 a 4, 5, 7 — 20 h A chymmer oi waed ef, a dyro ar ei phedwar corn hi, ac ar bedair congl y frâm, ac ar yr ymyl o amgylch: felly glanhâ, a chyssegra hi.

i Sal. 3, 1 Heb. 13, 11, 12 — 21 i Cymmer hefyd fustach y pech-aberth, a llosc ef yn y lle nodedig i'r tŷ, o'r tu allan i'r cyssegr.

22 Ac ar yr ail dydd offrwm di fwch geifr perffaith-gwbl yn bech-aberth, fel y cyssegront yr allor megis y cyssegrasant hi â'r bustach.

23 Pan orphennech gyssegru, offrwm di fustach ieuangc perffaith-gwbl, a hwrdd perffaith-gwbl o'r praidd.

j 2 Cron. 1, 7 Mat. 5, 13 Marc 9, 49. 50 Col. 4, 6 — 24 j Hefyd o flaen yr Arglwydd yr offrymmi hwynt, a'r offeiriaid a fwriant halen arnynt, ac ai hoffrymmant hwy yn boeth offrwm i'r Arglwydd.

25 Saith niwrnod yr offrymmi fwch yn bech-aberth bob dydd: felly yr offrymmant fustach ieuangc a hwrdd o'r praidd o rai perffaith-gwbl.

k Lef. 7, 3. 33 — 26 k Saith niwrnod y cyssegrant yr allor, ac y glanhânt hi, ac yr ymgyssegrant.

l Eph. 1, 6 ... c 2. 10 1, 19 Rhuf. 5, 2 Heb. 10, — 27 l A phan ddarffo y dyddiau hyn, bydd ar yr wythfed dydd ac o hynny allan i'r offeiriaid offrymmu ar yr allor eich poeth offrymmau, a'ch ebyrth hedd, ac mi a fyddaf fodlon i chwi medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XLIV.

*Yr achos yr oedd porth dwyrain y deml yn gaead. 6 Cerydd Israel am ddwyn dieithriaid i wasanaethu yn Nheml yr Arglwydd. 9 Pwy a wasanaethant yno, ac ym mha radd.*

“AC m efe a wnaeth i'm ddychwelyd tua phorth nessaf allan y cyssegr, yr hwn oedd yn edrych tua'r dwyrain, ac efe oedd yn gaead. — m Mat 13 12 Ioan 1, 50

2 n Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthif, Y porth hwn fydd caead, nid agorir ef, ac nid aiff neb trwyddo ef, o herwydd Arglwydd Dduw Israel aeth trwyddo ef, am hynny y bydd yn gaead. — n Deut. 29. 29 Rhuf. 11 36 Ex. 12, 12 Sal. 131, 2

3 o Y tywysog [ai piau ef,] y tywysog ei hun a eistedd ynddo, i fwytta bara o flaen yr Arglwydd: ar hyd ffordd cyntedd y porth y daw efe i mewn, a'r un ffordd yr aiff efe allan. — o Ier. 30, 31 Dan 12, 1 Mat. 11, 27 Dat. 3. 7 1Tim. 1, 16

4 Ac efe a'm dug i tua phorth y gogledd o flaen y tŷ, yna yr edrychais, ac wele, llawnase gogoniant yr Arglwydd dŷ Dduw: a mi a syrthiais ar fy wyneb. — 15 Luc 22, 30

5 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthif, Gosot dy galon fab dyn, a gwel â'th lygaid, clyw hefyd â'th glustiau 'r hyn oll yr ydwyf yn ei ddywedyd wrthit, am holl ddeddfau tŷ 'r Arglwydd, ac am ei holl gyfreithiau, a gosot dy feddwl ar ddyfodfa y tŷ, ac ar bob mynedfa allan o'r cyssegr.

6 p A dywet wrth anufyddgar dŷ Israel, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw, Digon yw i chwi [hyn] (tŷ Israel) o'ch holl ffieidd-dra. — p 1Pedr 4: 3

7 q Gan ddwyn o honoch ddieithriaid dienwaededic o galon a dienwaededic o gnawd i fod yn fyng-hyssegr gan halogi fy nhŷ mau fi, pan offrymmasoch fy mara, brasder, a gwaed, a halogi o honynt hwythau fyng-hyfammod yn eich holl ffieidd-dra chwi, — q Act. 21. 28 Ier 4, 4 Mal. 4, 12

8 r Ac na chadwasoch gadwriaeth fy [mbethau] cyssegredic, eithr gosod o honoch i chwi eich hunain geidwad [ar] fyng-hadwriaeth yn fyng-hyssegr: — r Phil. 2, 21

9 s Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Ni ddaw i'm cyssegr un mab dieithr, dienwaededic o galon, a dienwaededic o gnawd, o'r holl feibion dieithr y rhai [ydynt] ym mysc meibion Israel. — s Sal. 93, 5 a 50, 16 Act. 2, 41 Tit. 1, 6

10 t Eithr y Lefiaid (y rhai a giliasant oddi wrthif, y rhai pan gyfeiliornodd Israel, a gyrwydrasant oddi wrthif ar ol eu delwau) a ddygant hefyd eu hanwiredd eu hunain. — t 1Sam. 2, 30 1Cron 22 28

11 Ac a fyddant yn fyng-hyssegr yn wenidogion [mewn] swydd ym mhyrth y tŷ, ac yn wenidogion y tŷ: hwynt a laddant yr offrwm poeth, a'r aberth i'r bobl, a hwynt a safant oi blaen hwy iw gwasanaethu hwynt.

12 u O herwydd gwasanaethu o honynt hwynt o flaen eu gau-dduwiau, a bod o honynt i dŷ Israel yn dramgwydd anwiredd, am hynny y derchefais fy llaw yn eu herbyn hwynt medd yr Arglwydd Dduw, a hwy a ddygant eu hanwiredd. — u Esa. 9, 13 Hos. 5, 1

13 Ac ni ddeuant yn agos attaf fi i offeiriadu i mi, nac i nessau at fy holl [bethau] sanctaidd i'r cyssegr sancteiddiolaf: eithr dygant eu cywilydd ai ffieidd-dra y rhai a wnaethant.

14 v A rhoddaf hwynt yn geidwad cadwriaeth y tŷ yn ei holl wasanaeth, ac yn yr hyn oll a wneir ynddo ef. — v Lef. 21 17

15 w A'r offeiriaid [sef] y Lefiaid, meibion Zadoc y rhai a gadwasant gadwriaeth fyng-hyssegr, pan gyfeiliornodd meibion Israel oddi wrthif, hwynt a nessânt attafi i'm gwasanaethu, ac a safant o'm blaen, i offrymmu i mi fraster a gwaed, medd yr Arglwydd IOR. — w 1Sam 2 31 1Bren 2 27 1Tim. 3 10

16 x Hwynt a ddeuant i'm cyssegr mau fi, a hwynt a nessânt at fy mwrdd i'm gwasanaethu, ac a gadwant fyng-hadwriaeth. — x Deut. 33, 9, 10 Num. 3 7 Lef. 8, 15

17 y A phan ddelont i byrth y cyntedd nessaf i mewn, gwiscant wiscoedd lliain, ac na ddeued gwlân am — y Dat. 4, 4 a 7, 13 1Tim. 6, 8 Phil. 4, 12

danynt, tra y gwasanaethant ym mhyrth y cyntedd
nessef i mewn, ac o fewn.
z1Cor.11 18 z Cappiau lliain fyddant am eu pennau hwynt, a
10 2 Cor. 2, llawdrau lliain fyddant am eu lwynau hwynt: nac ym-
17 Mat.6,4 wiscant mewn chwyslyd [wisc.]
6 19 a A phan elont i'r cyntedd nessaf allan (sef at y
aMat. 6, bobl i'r cyntedd oddi allan) dioscant eu gwiscodd y
5, 6 rhai y gwasanaethant ynddynt, a gosodant hwynt o
fewn celloedd y cyssegr, a gwiscant ddillad eraill, ac
na chyssegrant y bobl ai gwiscoedd.
b1Cor 11 20 b Eu pennau hefyd ni eilliant, ac na ollyngant [eu]
14 Tit. 1, 8 gwallt [yn hir] gan dalgrynnu talgrynnant eu pennau.
21 Hefyd nac yfed un offeiriad win, pan ddelont i'r
cyntedd nessaf i mewn.
c1Tim. 3 22 c Na chymmerant ychwaith yn wragedd iddynt
2, 4 1 Cor. 7, wraig weddw, neu yscaredic, eithr morwynion o hâd
39 tŷ Israel, neu'r weddw, yr hon a fyddo gweddw o
offeiriad a gymmerant.
23 A dyscant i'm pobl [ragoriaeth] rhwng cyssegr, a
digyssegr, a gwnant iddynt wybod [gwahan] rhwng
aflan a glân.
d Deut. 24 d A hwynt a safant mewn barn am ymryson, ac a
17, 8 farnant yn ol fy marnedigaethau mau fi: cadwant
hefyd fyng-hyfreithiau a'm deddfau yn fy amseroedd
gossodedic, a sancteiddiant fy Sabbothau.
e 1Thes. 25 e Ni ddeuant y chwaith at ddyn marw i ymhalogi,
4, 13 Ioan 11, eithr wrth dad, ac wrth fam, ac wrth fab, ac wrth
33, 35 ferch, wrth frawd, ac wrth chwaer, yr hon ni byddo
eiddo gŵr yr ymhalogant.
26 Ac wedi ei buredigaeth y cyfrifir iddo saith
niwrnod.
27 A'r dydd y delo i'r cyssegr, o fewn y cyntedd
nessaf i mewn, i weini yn y cyssegr, offrymmed ei
bech-aberth medd yr Arglwydd Dduw.
fMat.10, 28 f A'r offeiriadaeth fydd yn etifeddiaeth iddynt
11 1Cor.9,4 hwy: myfi [ydwyf] eu hetifeddiaeth hwy, am hynny
7 na roddwch etifeddiaeth iddynt hwy yn Israel, myfi
[ydwyf] eu hetifeddiaeth hwy.
gLef.27, 29 g Y bwyd offrwm a'r pech-aberth, a'r aberth tros
21 gamwedd a fwyttânt hwy, a phob diofryd-beth yn Is-
rael fydd eiddo hwynt.
hEx.13,2 30 h Blaenion hefyd pob cyntaf-anedic oll, a derchaf-
Neh. 10, el offrwm pob dim oll o'ch holl dderchafel offrymmau
37 Deut.14, fydd eiddo'r offeiriaid: blaen-ffrwyth eich toes hefyd
29 a roddwch i'r offeiriad i osod bendith ar dy dŷ.
i1Tim. 3 31 i Na fwyttaed yr offeiriaid ddim burgyn, neu ys-
3 Mat 23, clyfaeth o aderyn, neu o anifail.
25 Ex.22,31

## PEN. XLV.

*Bod pedair rhan neillduol yn nhir yr addewid, y gyntaf yn perthyn i'r offeiriaid a'r Deml. Yr ail i'r Lefiaid. Y drydedd i'r ddinas. A'r bedwaredd i'r tywysog. 10 Am bwysau a messurau iniawn. 13 Am flaen-ffrwyth, ac offrwm.*

jMat.25, 34 A j PHAN rannoch y tir yn etifeddiaeth yr off-
Sal 16, 5 rymmwch i'r Arglwydd offrwm cyssegredic
Rhuf.12, 1 o'r tir, yn hyd pum mil ar hugain [o gorsennau] o
1 Pedr 2, 5 hyd, a deng-mil o lêd: cyssegredic [fydd] hynny yn ei
Ex.29 27 Num.15, holl derfyn o amgylch.
19 2 k O hyn [y bydd] wrth y cyssegr bump cant [ar
kHeb.12 hyd,] a phump cant [ar lêd,] yn bedair-ongloc oddi
22, 24 amgylch: a dec cufydd a deugain yn faes pentrefol
iddo o amgylch.
l Ex. 26, 3 l Ac o'r messur hwn y messuri bum mil ar hugain
35 Lef. 4, 6 o hyd, a deng-mil o lêd, ac yn hwnnw y bydd cyssegr-
fa y cyssegr sancteiddiolaf.
4 Hyn o'r tir fydd gyssegredic i'r offeiriaid, y rhai a
wasanaethant y cyssegr, y rhai a nessânt i wasanaethu
yr Arglwydd: ac efe a fydd iddynt yn lle tai, ac yn
gyssegrfa i'r cyssegr.
5 A phum mil ar hugain o hyd, a deng-mil o lêd
fydd hefyd i'r Lefiaid, y rhai a wasanaethant y tŷ yn
etifeddiaeth ugain o stafelloedd iddynt.
6 Rhoddwch hefyd bum mil o lêd, a phum mil ar
hugain o hyd yn etifeddiaeth y ddinas, ar gyfer yr
offrwm cyssegredic: i holl dŷ Israel y bydd [hyn.]
7 m Ac i'r tywysog [y bydd] o bob tu i'r offrwm cys- mDat.11
segredic, ac i etifeddiaeth y ddinas, ar gyfer yr offrwm 15 Sal. 72,8
cyssegredic, ac ar gyfer etifeddiaeth y ddinas o du'r Dan.7,14
gorllewyn hyd y gorllewyn, ac o du'r dwyrain hyd y Phil. 2,9
dwyrain: a'r hyd [fydd] ar gyfer [pob] un o'r rhannau
o derfyn y gorllewyn hyd derfyn y dwyrain.
8 n [Hyn] o'r tir fydd iddo yn etifeddiaeth yn Israel, nSal72,2
fel na orthrymmo fy nhywysogion fy mhobl i mwy, a'r Seph. 3,
[rhan] arall o'r tir a roddant i dŷ Israel yn ol eu 13 Luc19,17
llwythau. Dat.2,26 a 5, 10
9 o Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Digon i 1Cor.6,2
chwi hyn dywysogion Israel, bwriwch ymmaith Dan7,27
drawsder a difrod, gwnewch hefyd farn a chyfiawnder, o1Pedr 5, 3
tynnwch ymmaith eich trethau oddi ar fy mhobl medd Esa.1,17 a 57, 14
yr Arglwydd Dduw.
10 p Bydded gennych bwysau iniawn, ac Epha in- pMat. 7,
iawn, a Bath iniawn. 12 Diar. 11,
11 Bydded yr Epha a'r Bath un fesur gan gynnwys 1
o'r Bath ddecfed rann Homer, a'r Epha ddecfed rann
Homer: wrth yr Homer y bydd eu messur hwynt.
12 q Y Sicl [fydd] ugain Gerah, [ac] ugain Sicl, a qNum.3,
phump Sicl ar hugain, a phymthec Sicl fydd Maneh 47
i chwi.
13 Dymma'r offrwm derchafel yr hwn a dderchef-
wch, chweched rann Epha o Homer o wenith, felly y
rhoddwch chweched rann Epha o Homer o haidd.
14 A deddf yr olew [sef] Bath o olew, decfed rann
Bath a roddwch o'r Corus: dec Bath [yw] Homer:
o herwydd dec Bath [a lanwant] Homer.
15 r Un milin hefyd o'r praidd [a offrymmwch] o rSal.72,7 a 92, 12
[bob] deucant allan o ddolydd Israel, yn fwyd offrwm,
ac yn boeth offrwm, ac yn aberthau hêdd i wneuthur
iawn trostynt medd yr Arglwydd Dduw.
16 Holl bobl y tir fyddant tann yr offrwm hwn dros
y tywysog yn Israel.
17 s Ac ar y tywysog y bydd poeth offrwm, a bwyd s Ioan 1,
offrwm, a diod offrwm, a'r yr uchel wyliau, ar newydd 16 a 15, 5
loerau, a'r Sabbothau drwy holl ossodedic wyliau tŷ Rhuf.11,
Israel: efe a offrymma bech-aberth, a bwyd offrwm, a 36 2 Cor. 5,
phoeth offrwm, ac aberthau hêdd i wneuthur iawn 21
tros dŷ Israel. Gal. 3,13
18 t Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, O fewn tHeb. 9,
y [mis] cyntaf, a'r y [dydd] cyntaf o'r mis y cymmeri 8 Gal. 3,13
fustach ieuangc perffaith-gwbl, ac y puri y cyssegr. a 4, 1, 3
19 Yna y cymmer yr offeiriad o waed y pech-aberth,
ac ai rhydd ar orsing y tŷ, ac ar bedair congl ffrâm yr
allor, ac ar orsing porth y cyntedd nessaf i mewn.
20 u Felly y gwnei hefyd ar y seithfed [dydd] o'r mis uMat. 26,
tros y neb a becho yn amryfus, a thros yr ehud, felly 19 a 18,18 Ioan 20,
y purwch y tŷ. 23
21 Yn y [mis] cyntaf ar y pedwerydd dydd ar ddec Rhuf.14, 4, 10
o'r mis y bydd i chwi Basc, uchel-wyl [fydd] i chwi
saith niwrnod, [a] bara croiw a fwytewch.
22 A'r tywysog a offrymma ar y dydd hwnnw drosto
ei hun, a thros holl bobl y wlad fustach yn bech-
aberth. v2Cor.5,
23 v A saith niwrnod yr uchel-wyl yr offrymma efe 21 Esa.53,9

yn offrwm poeth i'r Arglwydd saith o fustych, a saith
o hyrddod perffaith-gwbl bob dydd o'r saith niwrnod,
a bwch geifr yn bech-aberth bob dydd.
24 Bwyd offrwm hefyd a offrymma efe sef Epha gyd
â [phob] bustach, ac Epha gyd â [phob] hwrdd: a Hin
o olew gyd a'r Epha.
w Num. 29, 12 25 [w] Yn y seithfed [mis], ar y pymthecfed dydd o'r
mis, offrymmed ar yr uchel-wyl [tros] saith niwrnod
fel hyn: sef fel y pech-aberth, fel y poeth offrwm, ac
fel y bwyd offrwm, ac fel yr olew [hyn.]

## PEN. XLVI.

*Pa aberthau fyddent ar y Sabbothau, a'r newydd-loerau.* 8
*Pa ffordd y delid i'r Deml, ac yr elid allan o honi.*

x 1 Cor 13 12 FEL [x] hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Porth y
cyntedd nessaf i mewn, yr hwn sydd yn edrych
tua 'r dwyrain fydd yn gaead y chwe diwrnod gwaith,
ond ar y dydd Sabboth yr agorir ef: felly 'r agorir ef
ar ddydd y newydd-loer.
y Dat. 1, 6 2 [y] A'r tywysog a ddaw oddi allan [ar hyd] ffordd
1 Pedr 1, 5 cyntedd y porth, ac a saif wrth orsing y porth, yna
yr offrymma 'r offeiriad ei boeth offrwm ef, ai aberthau
Mat. 25, 10, 11, 12 hedd, ac yr addola efe wrth riniog y porth, ac a aiff
allan, a'r porth ni cheuir hyd yr hwyr.
z Ioan 10, 7 a 14, 6 3 [z] Pobl y tir a addolant hefyd [wrth] ddrws y porth
hwnnw ar y Sabothau, ac ar y newydd-loerau o flaen
yr Arglwydd.
a 1 Cor. 3, 7, 11 4 [a] A'r offrwm poeth yr hwn a offrymmo 'r tywysog
Num. 28, 9, 10 i'r Arglwydd ar y dydd Sabboth [fydd] chwech o ŵyn
perffaith-gwbl, a hwrdd perffaith-gwbl.
Esa. 64, 4 5 A bwyd offrwm o Epha gyd a'r hwrdd, a rhodd
ei law o fwyd offrwm gyd a'r ŵyn, a hin o olew gyd
a'r Epha:
6 Ac ar ddydd y newydd-loer, bustach ieuangc per-
ffaith-gwbl, a chwech o ŵyn, a hwrdd [y rhai hynny]
fyddant perffaith-gwbl.
b Num 6, 21 7 [b] Offrymmed hefyd Epha gyd a'r bustach, ac Epha
Lef. 6, 11 gyd a'r hwrdd yn fwyd offrwm: a chyd a'r ŵyn fel y
a 12, 18 cyrhaeddo ei allu ef, Hin o olew gyd â [phob] Epha.
a 14, 21 8 A phan ddelo yr tywysog i mewn [ar hyd] ffordd
a 25, 28 cyntedd y porth y daw: ac ar hyd y ffordd honno yr
aiff allan.
c Luc 17, 32 9 [c] A phan ddelo pobl y tir o flaen yr Arglwydd ar
1 Cor. 9, 24 y gwyliau gosodedic, yr hwn a ddelo trwy borth y
Phil 1, 13 gogledd i addoli a aiff allan trwy borth y deau: a'r
Gal. 4, 9 hwn a ddelo trwy borth y deau a aiff allan trwy borth
a 5, 7 y gogledd, na ddychweled i'r hwn y daeth i mewn
2 Pedr 2, 20, 21 trwyddo, eithr eled allan ar ei gyfer.
Heb. 3, a 4, 16 10 [d] A phan ddelont hwy i mewn y daw 'r tywysog
10, 19 yn eu mysc hwy, a phan elont allan yr aiff yntef allan.
Eph. 3, 12 11 [e] Ar yr uchel wyliau hefyd y bydd y bwyd off-
8 rwm o Epha gyd a [phob] bustach, ac Epha gyd â
Ioan 2, 2 [phob] hwrdd, a rhodd ei law gyd a'r ŵyn, a Hin o
2 Cor. 8, 12 olew gyd a'r Epha.
Deut. 16, 10 12 A phan offrymmo yr tywysog offrwm gwirfodd
Ldn. 57 neu aberth hedd gwirfodd i'r Arglwydd, yna'r egir
iddo 'r porth yr hwn sydd yn edrych tua 'r dwyrain,
ac yr offrwm ei boeth offrwm, ai aberthau hedd, fel y
gwnae ar y dydd Sabboth: ac a aiff allan ac a gaea'r
porth ar ol ei fynediad allan.
13 Oen blwydd perffeith-gwbl a offrymmi yn boeth
offrwm i'r Arglwydd beunydd: o foreu i foreu yr
offrymmi ef.
14 Offrymmi hefyd yn fwyd offrwm gyd ag ef o foreu
i foreu, chwechecd ran Epha [o beillied] a thrydedd
ran Hin o olew i gymmyscu'r peillied: [sef] yn fwyd
offrwm i'r Arglwydd [trwy] ddeddfau tragywyddol
byth.
15 [f] Felly 'r offrymant yr oen a'r bwyd offrwm, a'r f Gal. 6, 10
olew, o foreu i foreu yn boeth ofrwm byth. 1 Cor. 15, 18
16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Os rhydd
y tywysog rodd i neb oi feibion oi etifeddiaeth eiddo
ei feibion fydd hynny, ei cyfiawnder hwy [yw] hynny
o etifeddiaeth.
17 [g] Ond pan roddo efe rodd ei etifeddiaeth i un oi g Ioan 16, 15
weision bydd hefyd eiddo hwnnw hyd flwyddyn y Heb. 1, 2
rhydd-did, yna dychwel i'r tywysog, etto ei etifedd- Mat. 7, 22
iaeth [sydd eiddo] ei feibion, [ac] eiddynt hwy fydd. 23 a 23, 21 23 a 15 14
18 Ac na chymmered y tywysog o etifeddiaeth y Luc 19, 13
bobl, gan eu gorthrymmu hwynt am eu cyfiawnder, Ioan 8, 35
rhodded etifeddiaeth iw feibion, oi gyfiawnder ei hun,
fel na wascarer fy mhobl bob un allan oi etifeddiaeth.
19 Ac efe am dûg trwy 'r ddyfodfa yr hon [oedd] ar
ystlys porth yr offeiriaid i'r stafelloedd cyssegredic y
rhai oeddynt yn edrych tua 'r gogledd: ac wele yno
le yn yr ystlyssau nessaf i'r dwyrain.
20 [h] Ac efe a ddywedodd wrthif, Dymma 'r fann lle h Act. 20, 28
y beirw 'r offeiriaid yr aberth tros gamwedd, a'r pech
aberth, [ac] lle y pobant y bwyd offrwm heb ddwyn
[dim] i'r cyntedd nessaf allan i gyssegru 'r bobl.
21 Ac efe a'm dûg i'r cyntedd nessaf allan, ac a'm
tywysodd i bedair congl y cyntedd, ac wele gyntedd
ym mhob congl i'r cyntedd,
22 Ym mhedair congl y cyntedd [yr ydoedd] gyn-
teddau cyssylltiedic, o ddeugain [cufydd] o hŷd, a dêc
ar hugain o lêd: un fessur [oedd] i'r conglau ill pedair.
23 Ac [yr ydoedd] mûr o amgylch ogylch iddynt ill
pedair, a cheginau wedi eu gwneuthur oddi tann y
muroedd oddi amgylch.
24 [i] Ac efe a ddywedodd wrthif, Dymma dŷ y cogau, i 1 Pedr 5, 2
lle y beirw gwenidogion y tŷ aberth y bobl. Mat. 24, 45

## PEN. XLVII.

*Gweledigaeth y dyfroedd y rhai a ddaethant o'r Deml.* 13 Ioan 21, 15, 17
*Terfynau a rhanniad y tir.* 1 Tim. 3,

AC [j] efe a wnaeth i'm ddychwelyd i ddrws y tŷ, 13 a 4, 16
ac wele ddwfr yn dyfod allan oddi tann rhinniog 2 Tim 4, 2
y tŷ tua 'r dwyrain, o herwydd talcen y tŷ [oedd tua] 'r Col. 4, 17
dwyrain: a'r dyfroedd oeddynt yn descyn oddi tann Rhuf. 12, 1
ystlys dehau 'r tŷ, o du 'r deau i'r allor. Heb. 13, 16
2 Ac efe am dug i [ar hŷd] ffordd porth y gogledd, j Esa. 2, 3 Dat. 22, 1
ac a wnaeth im amgylchu y ffordd oddi allan, hyd y Luc 24, 47, 49
porth nessaf allan [ar hŷd] y ffordd yr hon sydd yn Esa. 9, 11
edrych tua 'r dwyrain: ac wele ddyfroedd yn tarddu Ioan 7, 28
o'r ystlys dehau. Sal. 46, 4
3 [k] Pan aeth y gŵr (yr hwn oedd â'r llinin yn ei law) Ioan 19, 34, 35
allan tua 'r dehau, yno y messuroedd fil o gufyddau, ac Heb. 13, 10
a'm tywysodd i'r dwfr, a'r dwfr hyd y fferau. Ioan 1, 16
4 Ac efe a fessurodd fil [eraill,] ac am tywysodd i'r k 2 Pedr 3, 8
dwfr, [a'r] dwfr hyd y gliniau, ac a fessurodd fil Mat. 13,
[eraill,] ac a'm tywysodd, a'r dyfroedd hyd y lwyni. 23
5 [l] Ac a fessurodd fil [eraill mewn] afon yr hon ni Diar. 4, 18
allwn fyned trwyddi, canys codasse y dyfroedd yn l Rhuf. 11, 33
ddyfroedd nofiadwy, [ac] yn afon yr hon nid eid Eph. 3, 18
trwyddi.
6 Ac efe a ddywedodd wrthif, Oni welaist di [hyn]
fab dyn: yna i'm tywysodd, ac i'm dychwelodd hyd
lann yr afon.
7 [m] A phan i'm dychwelodd, wele ar lann yr afon m Dat. 22, 2
goed lawer iawn o bob tu. Sal. 1, 3
8 Ac efe a ddywedodd wrthif, Y dyfroedd hyn ydynt a 92, 12
yn myned allan tua bro y dwyrain, ac a ddescynnant
ar y gwastad, ac a ant tua 'r môr, ac wedi myned i'r

môr yr iecheuir y dyfroedd.
nAct.2,4 Sal.72,8 9 ⁿ Yna y bydd pob peth byw, yr hwn a ymlusco i'r
lle oll y delo 'r afonydd [hyn] fyw, ac fe a fydd pyscod
lawer iawn, o herwydd dyfod y dyfroedd hynn yno:
canys iachus fyddant, a phob dim lle y delo 'r afon fydd
byw.
oMat. 4, 10 ° A bydd i'r pyscod-wyr sefyll arni o En Gedi,
19 a 13,47 hyd En Eglaim, [y rhai] fyddant yn danfa rhwydau:
eu pyscod fyddant yn ol eu rhyw fel pyscod y môr
mawr, yn aml iawn.
pDat.21, 11 ᵖ Ei chorsydd, ai ffosydd ni iacheuir, yn halen y
8 a 22,11 rhoddir hwynt.
Act 13,48
2 Cor. 2, 12 ᑫ Eithr ar yr afon y cyfyd ar ei glann o'r ddau tu
15 bob pren ymborth, ei ddalen ni syrth, ai ffrwyth ni
qDat.22, 2 dderfydd, yn ei bryd yr addfeda, o herwydd ei ddyf-
1Cor.6,7 roedd ydynt yn dyfod allan o'r cyssegr: am hynny y
Gal. 5,22 bydd ei ffrwyth yn ymborth, ai afalau yn feddiginiaeth.
rSal.16,5 13 ʳ Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Dymma
Col. 1,12 y terfyn wrth yr hwn y rhenwch y tîr yn etifeddiaeth
i ddeuddec llwyth Isaael, Ioseph a [gaiff ddwy] o
rannau.
s Gal. 3, 14 ˢ Hefyd chwi ai hetifeddwch hi, yr hon a dyngais
29 Col. 3,11 ar ei roddi i'ch tadau bob un fel ei gilydd, felly y syrth
Act.10,3 y tir hwn i chwi yn etifeddiaeth.
1Pedr 2, 15 Dymma derfyn y tîr o du yr gogledd, o'r môr
9, 10 mawr tua Hethlon, ffordd yr eir i Zedada.
16 [Sef] Hamath, Berotha, [a] Sabarim, y rhai ydynt
rhwng terfyn Damascus, a therfyn Hamath, Hazar, [ac]
Hatticon, y rhai [ydynt] ar derfyn Hauran.
tNum.34 17 ᵗ Felly y bydd terfyn o fôr Hazar, Enan [sef]
9 terfyn Damascus, a [therfyn] y gogledd tua 'r gogledd,
a therfyn Hamath: ac dymma du y gogledd.
uZec.14, 18 ᵘ Ac ystlys y dwyrain a fesurwch chwi oddi rhwng
8 Hauran a Damascus, a Gilead, a thir Israel [wrth] yr
Iorddonen [sef] o'r terfyn hyd fôr y dwyrain: ac dym-
ma du y dwyrain.
vNum 20 19 ᵛ A thu 'r deau tu a Theman o Thamar hyd ddyf-
13, 14 roedd cynnen Cades, [a'r] afon hyd y môr mawr: ac
Ios. 15, 3 dymma du yr deau tua Theman.
a 15, 47 20 A thu yr gorllewyn [fydd] y môr mawr o'r terfyn
hyd oni ddeuir ar gyfer Hamath: dymma du 'r gor-
llewyn.
21 Felly y rhennwch y tir hwn i chwi yn ol llwyth-
au Israel.
wAct 25 22 ʷ Bydded hefyd rannu o honoch y hi yn etifedd-
7, 9. Rhuf. 3, iaeth i chwi, ac i'r dieithriaid y rhai a ymdeithiant yn
29 a 4, 11 eich mysc chwi, y rhai a genhedlant blant yn eich
a 10, 12 plith chwi, a byddant i chwi fel un wedi ei eni ym
a 15, 9 1Cor. 12, mysc meibion Israel: gyd â chwi y bwriant am etifedd-
13 iaeth ym mysc llwythau Israel.
Gal. 3,28 23 ˣ A bydded ym mha lwyth bynnac yr ymdeithio
29 Eph. 3, 6 y dieithr gyd ag ef, yno y rhoddwch ei etifeddiaeth ef
Col. 1,12 medd yr Arglwydd Dduw.
a 3, 11 Dat. 7,9 10 x Col. 2, 11

## PEN. XLVIII.

*Rhan rhai o'r llwythau. 9 Rhannau y Deml, y Lefiaid y ddinas, a'r tywysog. 24 Rhannau y llwythau eraill. 31 Pyrth y ddinas.*

yMat.11, 8 A ʸDYMMA henwau y llwythau: Dan [sydd] un
Sal.72.8 ar y cwrr nessaf i'r gogledd ar fin ffordd Hethlon,
Dan.7,14 ffordd yr eir i Hamath, Hazar, Enan, [a] therfyn Da-
Dat. 11, 15 mascus tua 'r gogledd ar fin Hamath [y rhai hyn] oedd-
1Cor. 15, 24 ynt eiddo ef [o] du yr dwyrain [hyd] y gorllewin.
1Tim. 6, 15 2 ᶻ Ac ar derfyn Dan, o du yr dwyrain hyd du 'r
zDat.7,5 gorllewyn Aser [fydd] un.
3 Ac o derfyn Aser, o du 'r dwyrain hyd du yr gor-
llewyn Nephtali [fydd] un.
4 Ac ar derfyn Nephtali o du 'r dwyrain hyd du 'r
gorllewyn Manasses [fydd] un.
5 Ac ar derfyn Manasses, o du 'r dwyrain, hyd du 'r
gorllewyn Ephraim [fydd] un.
6 Ac ar derfyn Ephraim, o du 'r dwyrain hyd du 'r
gorllewyn Ruben [fydd] un.
7 Ac ar derfyn Ruben, o du 'r dwyrain hyd du 'r
gorllewyn Iuda [fydd] un.
8 ᵃ Ac ar derfyn Iuda, o du 'r dwyrain hyd du 'r gor- aEsa.33, 17 a 60,7
llewyn [y bydd] yr offrwm yr hwn a offrymmoch yn Diar.8,15
bum mil ar hugain [o gufyddau] o hyd, ac o led fel un Mat.3,17
o'r rhannau [hyn: sef] o du'r dwyrain hyd du'r gor- Heb.7,14
llewyn: a'r cyssegr fydd yn ei ganol. Rhuf.15, 12
9 Yr offrwm yr hwn a offrymmoch i'r Arglwydd Hos.1,11
[fydd] bum mil ar hugain o hyd, a deng mil o led, Ioan 12, 32
10 Ac eiddo y rhai hyn fydd yr offrwm cyssegredic Can.5,10
[sef] eiddo'r offeiriaid [fydd] pum mil ar hugain tua'r Dat. 2,1
gogledd [o hyd,] a deng mil tu a'r gorllewin o led:
felly deng mil tua'r dwyrain o led, a phum mil ar
hugain tua'r dehau o hyd: a chyssegr yr Arglwydd
fydd yn ei ganol,
11 I'r offeiriaid cyssegredic o feibion Zadoc y rhai
a gadwasant fyng-hadwraeth, y rhai ni chyfeiliornas-
ant pan gyfeiliornodd plant Israel, megis y cyfeiliorn-
odd y Lefiaid.
12 Am hynny y bydd eiddynt yr hyn a offrymmir o
offrwm y tir, yn sancteidd-beth cyssegredig wrth
derfyn y Lefiaid.
13 A'r Lefiaid a [gant] ar gyfer terfyn yr offeiriaid
bum mil ar hugain o hyd, a deng mil o led: pob hyd
[fydd] bum mil a'r hugain, a'r lled yn ddeng-mil.
14 ᵇ Hefyd na werthant [ddim] o honaw, na chyf- bGal.5,1
newidied [neb] ychwaith. ac na throsclwydded flaen- 1Cor.15, 58 a 16,15
ffrwyth y tir, o herwydd cyssegredic [yw] i'r Argl- Dat.5,11
wydd. 2 Ioan 8
15 ᶜ A'r pum mil eraill o led, ar gyfer y pum mil 2Tim. 1, 14
ar hugain sydd ddigyssegredic, yn drigfa ac yn faes Ier.2,11 13
pentrefol i'r ddinas, a'r ddinas fydd yn ei ganol. cHos.6,6
16 Ac dymma ei fesurau ef, ystlys y gogledd [fydd] Deut.28, 6
bump cant, a phedair mil, ac ystlys y dehau bump Ier.31,5, 40
cant, a phedair mil, a thu'r gorllewyn yn bump cant, Dat.21,2
a phedair mil.
17 Maes pentrefol y ddinas fydd hefyd tua'r gogledd
yn ddau cant cufydd, a dec a deugain, ac yn ddeucant
a dec a deugain tu a'r deau, ac yn ddeucant a dec a
deugain tu a'r dwyrain, ac yn ddeucant a dec a deu-
gain tu a'r gorllewyn.
18 ᵈ A'r rhan arall o hyd ar gyfer yr offrwm cyssegr- dMat.10 10
edic [fydd] yn ddeng-mil [o gufyddau] tua 'r dwyrain, 1Tim. 5, 17
yn deng-mil tua'r gorllewyn, ac ar gyfer yr offrwm Gal. 6. 6
cyssegredic y bydd, ai gnwd fydd yn ymborth i wen- 1Cor.9,9
idogion y ddinas. Deut.12, 19
19 A gwenidogion y ddinas ai gwasanaethant o holl
lwythau Israel.
20 ᵉ Yr holl offrwm [fydd] bum mil ar hugain [o hyd] eDat.21, 16
gyd â phum mil ar hugain [o led,] yn bedair onglog yr Heb.12, 27
offrymmwch yr offrwm cyssegredic gyd ag etifeddiaeth
y ddinas. Mat. 16, 14
21 A'r hyn a adewir i'r tywysog o ddeu-tu 'r offrwm Esa. 33, 20
cyssegredic, ac etifeddiaeth y ddinas, ar gyfer y pum
mil ar hugain o [gufyddau] yr offrwm, hyd terfyn y
dwyrain, a thua 'r gorllewyn, ar gyfer y pum mil ar
hugain [o gufyddau] ar derfyn y gorllewyn: gyferbyn
a'r rhannau [hyn] fydd eiddo 'r tywysog: felly yr off-
rwm cyssegredic, a chyssegrfa 'r tŷ fydd ynghanol
hynny.

22 Felly o etifeddiaeth y Lefiaid, ac o etifeddiaeth y
ddinas yng-hanol yr hyn fyddo i'r tywysog, rhwng
terfyn Iuda, a therfyn Beniamin, eiddo 'r tywysog
fydd:
23 Ac [am] y rhann arall o'r llwythau, Beniamin
[fydd] un o du 'r dwyrain hyd du yr gorllewyn.
24 Ac ar derfyn Beniamin, Simeon [fydd] un o du 'r
dwyrain hyd du 'r gorllewyn
25 Ac ar derfyn Simeon, Issachar [fydd] un o du 'r
dwyrain hyd du 'r gorllewyn.
26 Ac ar derfyn Issachar, Zabulon [fydd] un o du 'r
dwyrain hyd du 'r gorllewyn.
27 Ac ar derfyn Zabulon, Gad [fydd] un o du 'r
dwyrain hyd du 'r gorllewyn.
f Gen. 48, 28 f Ac ar derfyn Gad, ar y tu dehau tua Theman, y
13 terfyn fydd o Thamar [hyd] ddyfroedd cynnen Cades
1 Bren. 11 [ac] hyd yr afon [yr hon sydd yn rhedeg] i'r môr
26 Sal. 78, 65 mawr.
Deut. 27, 12 29 Dymma y tir yr hwn a rennwch yn etifeddiaeth i
lwythau Israel, ac dymma eu rhannau hwynt medd yr
Arglwydd Dduw,
30 g Dymma hefyd amgylch y ddinas, o du 'r gog- g Mat. 13
ledd pump cant, a phedair mil [cufydd] o fessur. 41
31 h A phyrth y ddinas [fyddant] ar henwau llwyth- h Mal. 1,
au Israel, yn dri phorth tua 'r gogledd, porth Ruben 11
yn un, porth Iuda yn un, porth Lefi yn un [arall.]
32 Ac ar du yr dwyrain pump cant a phedair mil
[cufydd] a thri phorth, sef porth Ioseph yn un, porth
Beniamin yn un, porth Dan yn un.
33 A thua 'r deau pump cant, a phedair mil [cufydd]
o fessur, a thri phorth: porth Simeon yn un, a phorth
Issachar yn un, a phorth Zabulon yn un.
34 Tua 'r gorllewyn [y bydd] pump cant a phedair
mil [o gufyddau,] ai tri phorth: porth Gad yn un,
porth Aser yn un, [a] phorth Nephthali yn un.
35 Deu-naw mil o [gufyddau fydd] o amgylch, a
henw y ddinas o'r dydd [hwnnw allan fydd] YR AR-
GLWYDD [SYDD] YNO.

*TERFYN LLYFR Y PROPHWYD EZECIEL.*

---

# LLYFR Y PROPHWYD
# DANIEL.

## PEN. I.

1 *Caethiwed Ioachim brenin Iuda.* 4 *Nabuchodonosor yn peri dyscu rhai o feibion pendefigion Iuda yn iaith, a gwybodaeth y Caldeaid.* 5 *Y rhai hynny yn cael eu hymborth o fwyd y brenin.* 8 *Daniel yn ymgadw oddi wrth y bwyd hwn, am ei fod yn erbyn y gyfraith.*

a Ier. 25, 1 YN a y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Ioachim
a 52, 11 brenin Iuda y daeth Nabuchodonosor brenin
Sal. 37, 35 Babilon i Ierusalem, ac a warchaodd arni.
a 89, 32 b Ier. 27, 2 b A'r Arglwydd a roddes iw law ef Ioachim brenin
19 Iuda, a rhan o lestri tŷ Dduw, yntef ai dûg hwynt i
Hab 1, 16 wlâd Senner i dŷ ei dduw ef: ie i dryssor-dŷ ei dduw
y dûg efe y llestri.
c Luc 2.6 3 c A dywedodd y brenin wrth Asphenaz ei ben-staf-
Esa. 39, 7 elludd, am ddwyn o feibion Israel y rhai oeddynt o'r
hâd brenhinawl, ac o'r tywysogion,
d Diar. 31- 4 d Fechgyn (y rhai ni [bydde] ynddynt ddim gwrth-
22 Act. 7, 22 yni, eithr yn dda yr olwg, a deallgar ym mhob doeth-
a 19, 9 ineb, ac yn gwybod gwbodaeth ac yn dirnad cyfar-
wyddyd, a'r rhai [y bydde] grym ynddynt) i sefyll yn
llŷs y brenin: iw dyscu [ar] lyfr, ac [yn] iaith y Calde-
aid.
Ex. 5, 13 5 e A'r brenin a ddognodd iddynt hwy bêth o ran
Tim. 5, 6 bwyd y brenin, dydd yn ei ddydd, ac o'r gwin a yfe
efe, felly iw maethu hwynt dair blynedd: fel y safent
yn ôl hynny ger bron y brenin.
6 Ac yr ydoedd yn eu plith hwynt o feibion Iuda,
Act 11. Daniel, Ananias, Misael, ac Azarias.
uth 1, 18 7 A'r pen-stafelludd a osododd arnynt enwau, sef ar
or. 9, 7 Ddaniel y gosododd efe Baltassar, ar Ananias Sidrach,
Thes. 5, ac ar Misael Misach, ac ar Azarias Abednego.
at. 18, 7 8 f A Daniel a roddes ei fryd nad ymhaloge efe drwy
uuf. 14. ran [o] fwyd y brenin, na thrwy'r gwin a yfe efe: gan
hynny efe a ddymunodd ar y pen-stafelludd, ar na
bydde raid iddo ef ymhalogi.
9 A Duw a roddes Ddaniel mewn hawddgarwch a
thiriondeb o flaen y pen-stafelludd.
10 g A'r pen-stafelludd a ddywedodd wrth Ddaniel, g Ioan 12,
Ofni yr ydwyfi fy arglwydd y brenin, yr hwn a ddogn- 48
odd eich bwyd chwi, a'ch diod chwi: o herwydd pa Diar 29,
ham y gwele efe eich wynebau yn gulach na'r bech- 25
gyn y rhai ydynt fel chwithau? felly y parech fy
mhen yn ddyledus i'r brenin.
11 Yna y dywedodd Daniel wrth Melassar yr hwn
a osodase y pen-stafelludd ar Ddaniel, Ananias, Mis-
ael, ac Azarias,
12 h Prawf attolwg dy weision ddec diwrnod, a h Rhuf 4,
rhoddant i ni ffâ iw bwytta, a dwfr iw yfed. 18
13 Yna edrycher ger dy fron di ein pryd ni, a phryd Deut 8, 3
y bechgyn y rhai ydynt yn bwytta rhan o fwyd y
brenin, ac fel y gwelech, gwna di a'th weision.
14 Ac efe a wrandawodd arnynt yn y peth hyn, ac
ai profodd hwynt ddec o ddyddiau.
15 i Ac ym mhen y deng nhiwrnod y gwelid eu pryd i Diar. 17
hwynt yn degach, ac yn dewach o gig na'r holl fech- 1 Mat. 4, 4
gyn y rhai oeddynt yn bwytta rhan o fwyd y brenin.
16 j Yna y darfu i Melassar gymmeryd ymmaith j Ioan 6,
rhan eu bwyd hwynt a'r gwin a yfent, a rhoddi 26
iddynt ffâ,
17 k A'r bechgyn hynny ill pedwar, Duw a roddes k Iago 1, 17
iddynt wybodaeth, a deall ym mhob dysc, a synnwyr: Esa. 28. 29
Daniel a hyfforddiodd efe ym mhob gweledigaeth, a Tit 1, 15
breuddwydion. Col. 2, 8
18 l Ac ym mhen y dyddiau yn y rhai y dywedase y Num. 12, 6
brenin am eu dwyn hwynt i mewn: yna y pen-stafell- l Tim. 3, 6
udd ai dug hwynt ger bron Nabuchodonosor. Mat. 9, 16

m 1Sam. 19 m A'r brenin a chwedleuodd a hwynt, ac ni chaf-
19. 29 wyd o honynt oll [un] fel Daniel, Ananias, Misael, ac
Azarias: am hynny y safasant ger bron y brenin.
20 Ac [ym] mhob rhyw synnwyr, a deall, a'r a geisie
y brenin ganddynt, efe ai cafodd hwynt o'r ddecfed ran
goruwch yr holl ddewiniaid [a'r] astronomyddion, y
rhai [oeddynt] o fewn ei holl frenhiniaeth ef.
21 Felly y bu Daniel, hyd y flwyddyn gyntaf i'r brenin
Cyrus.

## PEN. II.

*Nabuchodonosor yn breuddwydio, ac yn erchi lladd dewiniaid Babilon am na fedrent fynegu iddo ei freuddwyd ai deongliaid.* 16 *Daniel yn dywedyd y breuddwyd, ac yn ei ddeongl, i arwyddocau amryw frenhiniaethau bydol,* 44 *A thragywyddol frenhiniaeth Grist hefyd.*

nGen. 4, AC n yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Nabuchodon-
6 osor y breuddwydiodd Nabuchodonosor freu-
Ester 5,1 ddwydion: a chynhyrfodd ei yspryd ef, ai gwsc a
dorodd arno.
oMat.2,4 2 o A'r brenin a archodd alw am y dewiniaid, ac am
Ex.7, 11 yr astronomyddion, ac am yr hudolion, ac am y Caldeaid
Ioan11,6 i fynegu i'r brenin ei freuddwydion: a hwynt a ddaeth-
ant, ac a safasant ger bron y brenin
pAct.12, 3 p A'r brenin a ddywedodd wrthynt, Breuddwydais
38 freuddwyd, a chynhyrfodd fy yspryd am wybod y
breuddwyd.
qEsa.44, 4 q Yna y Caldeaid a lefarasant wrth y brenin, yn
25 Syrian-aec: O frenin bydd fyw yn dragywydd, adrodd
1Cor. 8,1 dy freuddwyd i'th weision, a mynegwn y deongliad.
rDiar.18 5 r Attebodd y brenin a dywedodd wrth y Caldeaid:
14 Aeth y peth oddi wrthif, oni fynegwch y breuddwyd
i'm, ai ddeongliad, gwneir chwi yn ddrylliau, a'ch tai
a osodir yn dommen.
6 Ond os y breuddwyd ai ddeongliad a ddangoswch
i'm, cewch roddion, a gwobrau, ac anrhydedd mawr
o'm blaen i: am hynny dangoswch y breuddwyd ai
ddeongliad.
sDiar.15, 7 Attebasant eil-waith a dywedasant: Dyweded y
28 Rhuf. 1, brenin y breuddwyd i'w weision, ac ni a ddangoswn ei
22 ddeongliad ef.
Preg.10, 8 t Attebodd y brenin a dywedodd, Mi a wn yn hys-
4 t Ioan 2, bys mai oedi 'r amser yr ydych chwi: canys gwelwch
24 Eph.4,14 fyned y peth oddi wrthif.
u 2Sam. 9 u Oni wnewch i'm wybod y breuddwyd un gyfr-
19. 29 1Bren.22 aith fydd i chwi: canys gair celwyddoc, a llwgredic
6 a ddarparasoch ei ddywedyd o'm blaen nes darfod yr
Ioan 7,51 amser: am hynny dywedwch i'm y breuddwyd fel y
gwypwyf mai ei ddeongliad ef a ddangoswch i mi.
vMat.19 10 v Y Caldeaid a attebasant o flaen y brenin, ac a
10 ddywedasant, Nid oes ddyn ar y ddaiar, yr hwn a
ddichon ddangos yr hyn y mae 'r brenin yn ei ofyn:
ni cheisiodd un brenin, pennaeth na llywydd y fath
beth a hwn gan un dewin, nac astronomydd, na
Chaldead.
wRhuf.1 11 w Canys anhawdd [yw 'r] peth yr hwn a gais y
20 brenin, ac nid oes [neb] arall yr hwn ai dengys o flaen
y brenin onid y duwiau y rhai nid yw eu trigfa gyd â
chnawd.
x Diar. 12 x O achos hyn y creulonodd y brenin, ac y dig-
12, 16 iodd yn ddirfawr, a dywedodd am ddifetha holl
ddoethion Babilon.
yDiar.28, 13 y Yna 'r aeth cyfraith allan, ac y lladdwyd y
17 Eph.5,11 doethion, ceisiasant hefyd Ddaniel, ai gyfeillion iw
lladd.
zAct.27, 14 z Yna y trodd Daniel yn ei ol y cyngor, a'r gyf-
37 raith [ymma,] yng-hyd ag Arioch penn distain y
brenin, yr hwn a aethe allan i ladd doethion Babilon.
15 a [Canys] efe a lefarodd, ac a ddywedodd wrth a 2Sam15,
Arioch capten y brenin, Pa ham y mae yr gyfraith 56
[hon] yn myned ar y fath frys oddi wrth y brenin?
yna Arioch a fynegodd y peth i Ddaniel.
16 b Yn Daniel a aeth i mewn, ac a ymbiliodd a'r bMat. 7,
brenin am roddi iddo amser i ddangos y deongliad 7 Rhuf. 4,
i'r brenin. 18
17 c Yna 'r aeth Daniel iw dŷ ei hun, ac a fynegodd cMat.6,9
y peth iw gyfeillion Ananias, Misael, ac Azarias: Rhuf.15, 30
18 d Fel y ceisient drugaredd o flaen Duw y nefoedd Act. 12,5
yn achos y dirgelwch hyn, fel na ddifethyd Daniel ai dGen. 18 25
gyfeillion gyd a'r rhan arall o ddoethion Babilon. 2Pedr 2, 9
19 Yna y datcuddiwyd [y] dirgelwch i Ddaniel mewn
gweledigaeth nôs: yna Daniel a fendithiodd Dduw 'r
nefoedd.
20 e Attebodd Daniel, a dywedodd: Bendigedic fyddo eSal.113, 1
enw Duw o dragwyddoldeb hyd dragwyddoldeb: canys Iago 1,5
doethineb, a nerth ydynt eiddo ef. Col. 1, 9
21 f Ac efe sydd yn newid amserau, a thymhorau, gan fDiar. 8, 15
symmud brenhinoedd, a sicrhau brenhinoedd [eraill,] Sal. 75.6 7
gan roddi doethineb i'r doethion a gwybodaeth i'r rhai
a fedrant ddeall. Iago 1, 5
22 g Efe sydd yn datcuddio y [pethau] dyfnion, a Mat. 13, 12
chuddiedic, efe a wyr beth [sydd] yn y tywyllwch, a gSal. 25, 14
chyd ag ef yr erys y goleuni. Heb.4,13
23 h Tydi Dduw fy nhad yr ydwyfi yn ei glodfori, ac 1Tim 6, 16
yn ei foliannu, o herwydd rhoddi o honot ddoethineb h1Ioan5, 15
a nerth i mi: a pheri i mi wybod yr hyn a geisiasom Mat. 7, 7
gennit: canys gwnaethost i ni wybod yr hyn a ofyn-
nodd y brenin.
24 O herwydd hyn yr aeth Daniel at Arioch yr hwn
a osodase y brenin i ddifetha doethion Babilon: efe a
aeth, ac a ddywedodd wrtho fel hyn, Na ddifetha
ddoethion Babilon, dwg fi o flaen y brenin, ac mi a
ddangosaf i'r brenin y deongliad.
25 i Yna y dug Arioch Ddaniel o flaen y brenin ar iEsa. 21, 10
frys, ac efe a ddywedodd wrtho fel hyn, Cefais ŵr o Rhuf.28, 18
blant caethiwed Iuda, yr hwn a fynega i'r brenin y
deongliad.: Act. 28, 24
26 Attebodd y brenin, a dywedodd wrth Ddaniel (yr 1Cor. 1,
hwn oedd ei enw [arall] Baltassar) A elli di fynegu i mi 27
y breuddwyd yr hwn a welais, ai ddeongliad?
27 k Attebodd Daniel o flaen y brenin, a dywedodd, kEsa.44,
Nid doethion, astronomyddion, dewiniaid, [na] brud- 25
wyr a allant ddangos i'r brenin y dirgelwch yr hwn y Ioan 3, 8
mae 'r brenin yn ei geisio.
28 l Ond y mae Duw yn y nefoedd yn datcuddio dir- lSal. 115,
geledigaethau, ac efe a fynegodd i'r brenin Nabuchod- 3 Gen. 41,
onosor beth [yw] 'r hyn [sydd] ar fod yn y dyddiau 16
diweddaf; dy freuddwyd, a gweledigaethau dy ben
yn dy wely [ydoedd] hyn ymma;
29 m Ti frenin [pan oeddit] yn dy wely, dy feddyliau m Rhuf.
a godasant yn dy ben, beth [oedd] i ddyfod ar ol hyn, 15, 4
a'r hwn sydd yn dadcuddio dirgeledigaethau a fyneg-
odd i ti beth [oedd] i fod.
30 n Minne hefyd nid drwy ddoethineb (yr hon sydd n1Cor.15
ynof fi yn fwy na neb byw) y datcuddiwyd i'm y dir- 8
gelwch hwn: ond oi hachos [hwynt] y rhai a fyneg-
ant y deongliad i'r brenin, fel y gwyddit feddyliau dy
galon.
31 o Ti frenin oeddit yn gweled, ac wele ryw ddelw oMat.10,
fawr yn sefyll gyferbyn â thi, y ddelw hon [ydoedd] 18
fawr, ai discleirdeb yn rhagorol, a'r olwg arni [ydoedd]
ofnadwy, pIer. 27,
32 p Pen y ddelw hon [ydoedd] o aur da, ei ddwyfron 5 Esa. 40, 6

ai breichiau ó arian, ei bol, ai morddwydydd o brês,
33 Ei choesau o haiarn, ei thraed [oeddynt beth] o
honynt o haiarn, a [pheth] o honynt o bridd :
qLuc 21, 34 q Edrych yr oeddit hyd oni thorwyd allan garrec
24 Sal. 118, yr hon ni [thorwyd] a dwylo, a hi a darawodd y
22 ddelw ar ei thraed o haiarn a phridd, ac ai maluriodd
Zec. 4, 6. hwynt.
rSal. 2, 9 35 r Yna 'r haiarn, y pridd, y prês, yr arian, a'r aur
a 37, 36 a gyd-faluriasant, ac oeddynt fel man us yn [dyfod]
o yscuboriau hâf: a'r gwynt ai dug hwynt, ac ni chaed
un lle iddynt: yna 'r garrec yr hon a darawodd y
ddelw a aeth yn fynydd mawr, ac a lanwodd yr holl
ddaiar.
s2Cor. 12, 36 s Dymma 'r breuddwyd, dywedwn hefyd ei ddeong-
3 liad o flaen y brenin.
tIer. 25, 37 t Ti frenin [ydwyt] frenin brenhinoedd, canys
15 Ezra 1, 2 Duw y nefoedd a roddodd i ti frenhiniaeth, gallu, a
nerth, a gogoniant,
38 A pha le bynnac y presswylio plant dynnion efe
a roddes dann dy law fwyst-fil y maes, ac ehediaid y
nefoedd, ac a'th osododd di yn arglwydd arnynt oll:
ti yw ei phen hi o aur.
39 Ac a'r dy ol di y cyfyd brenhiniaeth arall is na thi,
felly y drydedd waith y [bydd] brenhiniaeth arall o
brês, yr hon a lywodraetha yn yr holl dir.
uIoan 11, 40 u Bydd hefyd y bedwaredd frenhiniaeth yn gref
48 fel haiarn, megis haiarn y maluria, ac y mala hi oll:
ie fel haiarn yr hwn a ddryllia bob peth y maluria ac
y dryllia hi.
vSal. 39, 41 v A lle y gwelaist y traed a'r byssedd, peth o ho-
5 1Bren. 12 nynt o bridd crochenydd, a [pheth] o honynt o haiarn,
26 brenhiniaeth hannêroc fydd, ac [y mae] i fod ynddi
[beth] o gryfder haiarn, o herwydd gweled o honot
haiarn wedi ei gymmyscu a phridd clailyd.
wDat. 13, 42 w [Fel yr ydoedd] bysedd y traed [beth] o honynt
4 2Thes. 2, yn haiarn, a [pheth] o honynt yn bridd, [felly] y bydd
8 peth o'r frenhiniaeth o rau yn grêf, a [pheth] o honi
fydd brau.
43 A lle y gwelaist haiarn wedi ei gymmyscu a
phridd cleilyd, ymgymmyscant â hâd dyn, ond ni
lynant y naill wrth y llall, megis nid ymgymmysc
haiarn â phridd.
xLuc 19, 44 x Ac yn nyddiau y brenhinoedd hynny y cyfyd
12 Duw nefol frenhiniaeth yr hon ni lygrir byth, a'r fren-
Sal. 2, 9, 10 hiniaeth hon ni adewir i bobl eraill: hi a faluria, ac
1Cor. 15, a dreulia 'r holl frenhiniaethau hyn, ac hi a saif yn
24 dragywydd.
yEsa. 28, 45 y Lle y gwelaist dori carrec o'r mynydd yr hon
16 ni [thorwyd] â llaw, a malurio o honi yr haiarn, y
Zec. 12 3 prês, y pridd, yr arian, a'r aur, hyspysodd y Duw
Luc17, 20 mawr i'r brenin beth [yw] 'r hyn [sydd] i fod wedi
2Pedr 1, hyn; felly y breuddwyd sydd wir ai ddeongliad yn
19 Tit. 3, 8 ffyddlon.
zAct. 10, 46 z Yna y syrthiodd Nabuchodonosor y brenin ar
25, 26 a 14, 13 ei wyneb, ac a ostyngodd i Ddaniel, dywedodd hefyd
Rhuf. 1, am offrymmu iddo ef offrwm, ac arogl-darth.
19, 20 aDeut 32, 47 a Attebodd y brenin a dywedodd wrth Ddaniel,
34 Mewn gwirionedd y [gwn] mai eich duw chwi [yw]
Duw y duwiau, ac Arglwydd y brenhinoedd a dat-
cuddiodd dirgeledigaethau, o herwydd medru o honot
ddatcuddio y dirgelwch hyn.
48 b Yna y brenin a fawrygodd Ddaniel, ac a roddes
b1Sam. 2, iddo ef roddion mawrion lawer; ac efe ai gwnaeth ef
7 yn bennaeth ar holl dalaethau Babilon, ac yn ben
cDiar. 21, swyddog ar holl ddoethion Babilon.
2 Esa. 49, 49 c Yna Daniel a ymbiliodd a'r brenin, ac yntef a
23
osododd Sidrach, Misach, ac Abednego i lywodraethu
talaith Babilon: a Daniel a [eisteddodd] ym mhorth y
brenin.

## PEN. III.

*Nabuchodonosor yn gwneuthur delw fawr, ac yn peri ei haddoli. 8 Sidrach, Misach, ac Abednego am nad addolent y ddelw a fwriwyd i'r ffwrn danllyd. 23 Duw yn eu gwaredu hwynt oddi yno.*

NABUCHODONOSOR d y brenin a wnaeth ddelw dSal. 61, 9
aur, ei huchter [oedd] yn dri ugain cufydd, ei a 146. 3
lled yn chwe chufydd, [ac] efe ai gosododd hi yng- Dat. 13, 3
wastadedd Dura o fewn talaith Babilon.
2 e Yna Nabuchodonosor y brenin a anfonodd i eDiar. 29
gasclu y tywysogion, dugiaid, a phendefigion, y rhag- 12 1Bren 12
lawiad, y tryssor-wyr, y cyfreith-wyr, y treth-wyr, a 32
holl lywodraeth-wyr y talaithau, i ddyfod wrth gys- Dat. 17, 2
segru y ddelw yr hon a gofodase Nabuchodonosor y
brenin.
3 f Yna y tywysogion, dugiad, a phendefigion, y rhag- fAct. 19,
lawiad, y trysor-wyr y cyfreith-wyr, y treth-wyr a 34
holl lywodraeth-wyr y talaithau a ymgasglasant wrth
gyssegru y ddelw yr hon a gofodase Nabuchodonosor
y brenin: ac a safasant o flaen y ddelw yr hon a gyf-
odase Nabuchodonosor.
4 g A chyhoedd-wr a lefodd yn groch, Wrthych chwi gDiar. 9,
bobloedd, genhedloedd, ac ieithoedd y dywedir: 13, 15 Dat. 13,
5 h Pan glywoch sŵn y cornet, y chwibanogl, y delyn, 16
y dulcimer, y saltringau, y symphon, a phob rhyw 1Thes. 5, 21
gerdd, y syrthiwch, ac y gostyngwch i'r ddelw aur, yr h2Pedr 2
hon a gyfododd Nabuchodonosor y brenin. 18 Mat 4, 9
6 i A'r hwn ni syrthio, ac ni chrymmo iddi yr awr Dat 13 16
honno, a fwrir i ganol ffwrn o dân poeth. iRhuf. 3,
7 j Am hynny 'r amser hwnnw pan glywodd yr holl 15 Marc 6,
bobloedd sain y cornet, y chwibanogl, y delyn, y dul- 27
cimer, y saltringau, a phob rhyw gerdd, y bobloedd, Dat 13, 15
y cenhedloedd a'r ieithoedd oll a syrthiasant gan ym- jIoan 5,
grymmu i'r ddelw aur yr hon a gyfodase Nabuchod- 14 Dat. 13, 3
onosor y brenin.
8 k O rau hynny gwyr Caldea a gyhuddasant gy- kMarc 3 2
huddiad [ar] yr Iuddewon. Ezra 4. 5
9 l Adroddasant a dywedasant wrth Nabuchodonosor lHos. 7, 3
y brenin, Bydd fyw frenin yn dragywydd. Act. 24, 2
10 m Ti frenin a osodaist orchymyn, ar i bwy bynnac 3 mRhuf. 1
a glywe sain y cornet, y chwibanogl, y delyn, y dyl- 23
cimer, y saltringau, a'r symphon, a phob rhyw gerdd, Ezec. 15,
syrthio, ac ymgrymmu i'r ddelw aur. 22
11 n A phwy bynnac ni syrthie, ac [nid] ymgrymme, nIoan 19,
y teflyd ef i ganol ffwrn o dân poeth. 7
12 o Y mae gwŷr o Iuddewon y rhai y gosodaist oAct. 17,
hwynt ar orchwyliaeth talaith Babilon, Sydrach, 6 a 6, 7
Misach, ac Abednego: y gwŷr hyn O frenin ni wnaeth-
ant gyfrif o honot ti, dy dduwiau nid addolant, ac nid
ymgrymmant i'r ddelw aur yr hon a gyfodaist.
13 p Yna Nabuchodonosor mewn llidiawgrwydd a pMat. 10,
digter a ddywedodd am gyrchu Sydrach, Misach, 18
ac Abednego: yna y cyrchwyd y gwŷr hyn o
flaen y brenin.
14 q Adroddodd Nabuchodonosor a dywedodd wrth- qDiar. 18
ynt, Ai gwir [hyn] Sydrach, Misach, ac Abednego, 13
na addolwch chwi fy nuwiau mau fi, ac nac ym-
grymmwch i'r ddelw aur yr hon a berais ei chyfodi.
15 Yr awr hon wele byddwch chwi barod pan glyw-
och sain y cornet, y chwibanogl, y delyn, y dulcimer,
y saltringau, a'r symphon, â phob rhyw gerdd, i syrth-
io, ac i ymgrymmu i'r ddelw 'r hon a wnaethum: ac
onid ymgrymmwch, yr awr honno y bwrir chwi i

ganol ffwrn o dân poeth, a pha Dduw [yw] efe yr hwn
a'ch gwared chwi o'm dwylo mau fi?
r 1 Pedr 3, 15 16 [r] Sydrach, Misach, ac Adednego a attebasant, ac
a ddywedasant wrth y brenin: Nabuchodonosor nid
Mat. 10, 29 ydym ni yn gofalu am atteb it am y peth hyn:
Act. 20, 24 17 [s] Wele y mae ein Duw ni yr hwn yr ydym ni yn
Ex. 20, 5 ei addoli yn gallu ein gwared ni allan o'r ffwrn danllyd
s Rhuf. 4, 21 boeth: ac efe a'n gwared [ni] o'th law di O frenin.
1 Sam 17, 37 18 [t] Ac onid-ê bydded hyspys it frenin na addolwn
dy dduwiau, ac nad ymgrymmwn i'th ddelw aur, yr
2 Tim. 4, 18 hon a gyfodaist.
t Act. 21, 13 19 [u] Yna y llanwyd Nabuchodonosor o lidiawgrwydd,
Sal. 119, 46 a gwedd ei wyneb a newidiodd ar Sydrach, Misach,
ac Abednego: llefarodd [hefyd,] a dywedodd am
Heb. 11, 25 dwymno 'r ffwrn seithwaith mwy nag y gwelsid ei
Act. 4, 19 thwymno hi.
u Act. 7, 41 20 [v] Ac efe a ddywedodd wrth wŷr cryfion nerthol y
Diar 11, 24 rhai [oeddynt] yn ei lu ef, am rwymo Sydrach, Misach,
ac Abednego, iw bwrw i'r ffwrn o dân poeth.
v Act 12, 4 7 21 Yna y rhwymwyd y gwŷr hynny yn eu peisiau,
a 16, 24 eu llawdrau, ai cwccyllau, ai gwiscoedd [eraill,] ac ai
bwriwyd i ganol y ffwrn o dân poeth.
w Diar 21 18 22 [w] O achos [bod] gorchymyn y brenin yn gaeth,
a'r ffwrn yn boeth ragorawl fflamm y tân a laddodd y
gwŷr hynny y rhai a fwriasant i fynu Sydrach, Misach,
ac Abednego.
23 A'r try-wyr hynny Sydrach, Misach, ac Abednego,
a syrthiasant yng hanol y ffwrn o dân poeth yn rhwym.
24 Yna y rhyfeddodd Nabuchodonosor y brenin, ac
y cyfododd ar frŷs, attebodd [hefyd] a dywedodd wrth
ei gyng horiaid, Onid try-wŷr a fwriasom ni i ganol y
tân yn rhwym? attebasant a dywedasant wrth y brenin,
Ie yn wîr, O frenin.
x Heb 11, 34 25 [x] Attebodd a dywedodd yntef, Wele fi yn gweled
Sal 91, 3 pedwar-gwŷr rhyddion yn rhodio yng-hanol y tân, ac
Iob 1, 6 nid oes niwed arnynt, a dull y pedwerydd sydd debyg
Heb 1, 14 i fab Duw.
y Deut 34 5 26 [y] Yna y daeth Nabuchodonosor at enau y ffwrn o
1 Pedr 1, 7 dân poeth, ac a lefarodd, ac a ddywedodd, O Sydrach,
Misach, ac Abednego, ei wasanaeth-wyr ef y Duw gor-
uchaf deuwch allan, a deuwch [ymma:] yna Sydrach,
Misach, ac Abednego a ddaethant allan o ganol y tân.
z Esa 26 11 27 [z] A'r tywysogion, dugiaid, a phendefigion, a
Marc 16, 18 chynghoriaid y brenin a ymgasglasant i weled y gwŷr
hyn, na finiase y tân ar eu cyrph hwynt, ac na loscase
Heb 11, 34 gwallt eu penn hwy: ni newidiase eu peisiau ychwaith,
Mat 10, 30 ac nid aethe sawyr y tân arnynt.
a Rhuf 11 36 28 [a] Attebodd Nabuchodonosor, ac a ddywedodd,
Iob 27, 9 Bendigedic yw Duw Sydrach, Misach, ac Abednego,
Diar 21 1 yr hwn a anfonodd ei Angel, ac a waredodd ei weision
Act 21, 13 y rhai a ymddyriedasant ynddo ef, ac a dorrasant or-
Mat 4, 10 chymyn y brenin, ac a roddasant eu cyrph rhag gwas-
anaethu nac ymgrymmu o honynt i un duw onid iw
Duw eu hun.
b Sal 3 8 a 76, 10 29 [b] Am hynny y gosodir gorchymyn oddi wrthifi,
mai pob pobl, cenhedlaeth, ac iaith, yr hon a ddywedo
gabledd am eu Duw hwynt (sef Sidrach, Misach, ac
Abednego) a wneir yn ddrylliau, ai dŷ ef a osodir yn
dommen: o herwydd nad oes Duw arall yr hwn a
ddichon ymwared fel hyn.
30 Yna y mawrhaodd y brenin Sydrach, Misach, ac
Abednego, o fewn talaith Babilon.

## PEN. IV.

*Ail breuddwyd Nabuchodonosor. ai ddeongliad. 9 Cwymp Nabuchodonosor, ai gyfodiad.*

NABUCHODONOSOR [c] frenin at yr holl bobloedd, c Act 9 31
cenhedloedd, ac ieithoedd, y rhai a drigant yn
yr holl dir, aml fyddo heddwch i chwi.
2 [d] Mi a welais yn dda fynegu yr arwyddion a'r d Ios 7 19
rhyfeddodau y rhai a wnaeth y goruchaf Dduw a mi. Num 23 4 5
3 [e] Morr fawrion [yw] ei arwyddion ef, ac morr ged- Sal 106 13
yrn [yw] ei ryfeddodau, ei deyrnas ef [sydd] deyrnas e Rhuf 11 33
dragywyddol, ai lywodraeth ef [sydd] o genhedlaeth Sal 90 2
i genhedlaeth.
4 [f] Myfi Nabuchodonosor oeddwn esmwyth arnaf yn f Sal 30 6
fy nhŷ, ac yn hoiw yn fy llŷs. Iob 29 5
5 Gwelais freuddwyd, a [hwnnw] am hofnodd, medd-
yliau hefyd yn fyng-wely, a gweledigaethau fy mhen
a'm dychrynnasant.
6 [g] Am hynny y gosodwyd gorchymyn oddi wrthif g 1 Cor 1 21
fi, ar ddwyn ger fy mron holl ddoethion Babilon fel 1 Sam 28
yr yspyssent i mi ddeongliad y breuddwyd. 8
7 [h] Yna y dewiniaid, yr astronomyddion, y Caldeaid, h Esa 44
a'r brud-wŷr a ddaethant, a mi a ddywedais fy 25
mreuddwyd oi blaen hwynt, ond ei ddeongliad nid
yspyssasant i mi.
8 [i] Ac o'r diwedd daeth Daniel o'm blaen i, yr hwn i Marc 3
[yw] ei henw Baltassar, yn ôl henw fy nuw, yr hwn 26 Esa 46 1
hefyd [y mae] yspryd y duwiau sanctaidd ynddo, a'm Gal 4 15
breuddwyd a dreuthais oi flaen ef [gan ddywedyd,]
9 [j] Baltassar pennaeth y dewiniaid, o herwydd i'm j Dat 5 9
wybod mai yspryd y duwiau sanctaidd [sydd] ynot ti, Phil 4 13
ac nad yw un dirgelwch yn anhawdd i ti: dywet weled-
igaethau fy mreuddwyd yr hwn a welais, ai ddeongliad.
10 [k] Ac [dymma] weledigaethau fy mhen ar fyng-wely, k Sal 37 35
Edrych yr oeddwn, ac wele bren yng-hanol y tir, ai Ezec 31 3
uchter yn fawr. Ier 12 2
11 [l] Mawr oedd y pren a chadarn, ai uchter a gyr- l Mat 11
haedde hŷd y nefoedd, yr [ydoedd] hefyd iw weled 23
hyd yn eithaf yr holl dir.
12 [m] Ei ganghennau [oeddynt] dêg, ai ffrwyth yn m Ezec 31 6 a 3 7
aml, ac ymborth arno i bawb, tano yr ymgyscode Dat 18 2
bwyst-filod y maes, ac adar y nefoedd a drigent yn ei
ganghennau ef: a phob cnawd a fwyttae o honaw ef.
13 [n] Edrych yr oeddwn yng-weledigaethau fy mhen n Sal 103 20
ar fyng-wely, ac wele wiliedydd, a sanct yn descyn Ios 5 14
o'r nefoedd,
14 [o] Gan lefain yn groch ac yn dywedyd fel hyn, o Dat 18 1 21
Torwch y prenn, ac ysgythrwch ei wrysc ef, escydwch Mat 3 10
ei ddail ef, a gwascerwch ei ffrwyth: cilied y bwyst- Sal 37 38
fil oddi tano, a'r adar oi ganghennau. Ier 51 6
15 [p] Er hynny gadewch fonnion ei wraidd ef yn y p Hab 3 3
ddaiar, a [bydded] mewn rhwym o haiarn, a phrês ym Ezec 29 13
mhlith gwellt y maes, gwlycher ef hefyd â gwlith y a 11 27
nefoedd, ai rann [fydd] gyd a'r bwyst-filod ym mhlith Ier 22 18
gwellt y ddaiar.
16 [q] Newidiant ei galon ef o [fod yn galon] dŷn, a q 1 Sam.
rhoddir iddo ef galon bwyst-fil, a saith amser a gyf- 25 37
newidir arno ef.
17 [r] O ordinhâd y gwiliedyddion [y mae] y farn hon, r Sal 9 16
a'r dymuniad wrth ymadrodd y rhai sanctaidd, hŷd oni a 12 8
wypo y rhai byw mai yr Goruchaf a lywodraetha fren-
hiniaeth dyn, ac ai rhydd i'r neb y mynno efe, ac a
esid arni y gwaelaf [o] ddynion. s Iob 13 4
18 [s] Dymma yr breuddwyd a welais i Nabuchodonos- 1 Bren 14 2
or y brenin, tithe Baltassar, dywet ei ddeongliad ef: t 1 Cor 2 10
o herwydd ni alle holl ddoethion fy nheyrnas yspyssu Preg 8
y deongliad i mi, eithr ti elli, am [fod] yspryd y duwiau 17 Rhuf. 11,
sanctaidd ynot ti. 33
19 [t] Yna Daniel yr hwn [ydoedd] ei enw Baltassar a Ier. 4, 19
synnodd tros un awr, ai feddyliau ai dychrynnasant 1 Tim. 2 1

ef, [yna]'r attebodd y brenin, ac y dywedodd: Balt-
assar na ddychrynned y breuddwyd ti, nai ddeongl-
iad: attebodd Baltassar a dywedodd, Fy arglwydd
[deued] y breuddwyd i'th elynnion, ai ddeongliad i'th
wrthwyneb-wyr.
20 Y prenn yr hwn a welaist, yr hwn a dyfase, ac a
gryfhause, ac a gyrheddase ei uchter hyd y nefoedd, ac
[oedd] iw weled ar hyd yr holl dir,
u Ezec 29 21 u Ai ddail yn deg, ai ffrwyth yn aml, ac ymborth
18,19 i bob peth ynddo ef, tann [yr hwn] y trige bwyst-fil y
maes, ac y presswylie adar y nefoedd yn ei ganghen-
nau,
v 2 Sam. 22 v Ti frenin [yw] efe, yr hwn a dyfaist, ac a gryf-
12.7 heaist, a'th fawredd a gynnyddodd, ac a gyrhaedd-
Iob 20, 5 odd hyd y nefoedd, a'th lywodraeth di hyd eithaf y
ddaiar.
w Rhuf. 1 23 * A lle y gwelodd y brenin wiliedudd, a sanct yn
18 descyn o'r nefoedd, ac yn dywedyd, Torwch y
Amos 3,6 prenn, a dinistriwch ef, er hynny gadewch fonnion
Sal. 9, 4 ei wraidd ef yn y ddaiar, a [bydded] mewn rhwym o
haiarn a phrês ym mhlith gwellt y maes, a gwlycher
ef hefyd a gwlith y nefoedd, a bydded ei rann gyd a
bwyst-fil y maes, hyd oni gyfnewidio saith amser
arno ef.
x Tit. 1,2 24 x Dymma'r deongliad O frenin, a dymma ordinhâd
Sal. 39. 9 y Goruchaf yr hwn sydd yn dyfod ar fy arglwydd
Iob 31,19 frenin.
25 Canys gyrrant ti oddi wrth ddynion, a chyd a
bwyst-fil y maes y bydd dy drigfa, â gwellt hefyd i'th
borthir fel eidionnau, ac i'th wlychir a gwlith y nef-
oedd, a saith amser a gyfnewidia arnat ti, hyd oni
wypech mai yr Goruchaf sy yn llywodraethu ar fren-
hiniaeth dyn, ac ai rhydd i'r neb a fynno efe.
y Hab. 3, 26 y A lle y dywedasant am adel bonnion gwraidd y
2.3 prenn, dy frenhiniaeth fydd sicer it wedi i ti wybod
Luc 15,21 mai o'r nefoedd y mae llywodraeth.
Mat. 21, 25 27 z Am hynny frenin bydded fodlon gennit fyng-
z 1 Cor. 5. 11 hyngor, a thorr di ymmaith dy bechodau â chyfiawn-
Esa 58,7, der, a'th anwireddau trwy drugarhau wrth drueniaid
6,9 [i edrych] a fydd estynniad ar dy heddwch.
a Esa.45, 28 a Daeth hyn oll ar Nabuchodonosor y brenin.
19 29 b Ym mhen deuddeng mis yr oedd efe yn rhodio
b Esa. 26, yn llys brenhiniaeth Babilon.
Mat 4, 8 30 c Llefarodd y brenin a dywedodd, Onid hon yw
Sal.7 5.8 Babilon fawr yr hon adailedais i yn frenhin-dŷ yng-
Diar. 16, 8 hryfder fy nerth, ac er gogoniant fy anrhydedd?
Gen. 10, 31 d A'r gair etto yng-enau y brenin, syrthiodd llef
Cron. 26 o'r nefoedd [yn dywedyd,] Wrthit ti frenin Nabuchod-
Luc 12, onosor y dywedir, Aeth y frenhiniaeth oddi wrthit.
32 e A thi a fwrir oddi wrth ddynion, a'th drigfa
al. 29.3, [fydd] gyd â bwystfilod y maes, â gwellt i'th borthir
Sam.13, fel eidionnau, a chyfnewidir saith amser arnat: hyd
1 Bren 1 oni wypech mai yr Goruchaf sydd yn llywodraethu
ar frenhiniaeth dyn, ac ai rhydd i'r neb y mynno.
Sal. 35,8 33 f Yr awr honno y cyflawnwyd y gair am Nabu-
chodonosor. ac y gyrrwyd ef oddiwrth ddynion, ac y
ob 20, 5 porodd wellt fel eidion, ac y gwlychwyd ei gorph ef
um. 25, gan wlith y nefoedd, hyd oni thyfodd ei flew ef fel
ab. 1,3 [plu] eryrod: ai ewinedd fel adar.
Sal. 32, 34 g Yn niwedd y dyddiau hyn, myfi Nabuchodon-
ron. 12 osor a dderchefais fy llygaid tu a'r nefoedd, a'm gwy-
bodaeth a ddychwelodd attaf, yna y bendithiais y
at. 4,10 Goruchaf, y moliennais hefyd ac y gogoneddais yr
hwn sydd yn byw byth, am [fod] ei lywodraeth ef yn
llywodraeth dragywyddol, a'i frenhiniaeth hyd gen-
hedlaeth a chenhedlaeth.

35 h A holl drigolion y ddaiar a gyfrifir megis yn h Esa 40 17
ddiddim: ac yn ol ei ewyllys ei hun y mae yn gwn- Iob 34,29
euthur â llu y nefoedd, ac â thrigolion y ddaiar, ac
nid oes a attalio ei law ef, nac a ddywedo wrtho,
Beth a wnaethost?
36 i Yn yr amser hwnnw y dychwelodd fyng-wyb- i Iob 42 12
odaeth attafi, a [deuthym] i ogoniant fy mrenhiniaeth, 2 Cor. 4,17
fy harddwch a'm hoiwder a ddychwelodd attafi: fyng-
hynghoriaid, a'm tywysogion a'm ceisiasant, felly i'm
sicrhauwyd yn fy nheyrnas, a chwanegwyd i'm fawr-
edd fwy.
37 j Yr awr hon myfi Nabuchodonosor ydwyf yn j Dat. 15,3
moliannu, ac yn mawrygu, ac yn gogoneddu Brenin Sal. 92,15
y nefoedd, am [fod] ei holl weithredoedd ef yn wir-
ionedd, ai lwybrau yn gyfiawnder, ac o herwydd y
dichon efe ddarostwng y rhai a rodiant mewn balch-
ter.

## PEN. V.

*Balthasar y brenin yn amherchi cyssygredic lestri Ierusalem.*
*5 Ac yn gweled llaw yn ysgrifennu ar y pared. 8 Yr*
*hon scrifen ni fedre neb ei darllen, nai deall onid Daniel.*
*30 Marwolaeth Balthasar, a Darius yn cael ei frenhin-*
*iaeth ef.*

BALTHASAR k y brenin a wnaeth wledd fawr i k Preg 10
fil oi dywysogion: ac a yfodd win o flaen y mil. 19
2 l Wrth flâs y gwin y dywedodd Balthasar am l Diar. 10,
ddwyn y llestri aur, ac arian, y rhai a ddugase Nabu- Ier. 52.17
chodonosor ei dad ef o'r Deml yr hon [oedd] yn Ieru- Diar 20,
salem: fel yr yfe y brenin ai dywysogion, ei wragedd, 25
ai orddechadon ynddynt.
3 m Yna y dygwyd y llestri aur y rhai a ddugasent m Dan. 5,
o'r Deml, (sef Tŷ Dduw yr hwn oedd yn Ierusalem) Gen. 19,4
a'r brenin ai dywysogion, ei wragedd, ai orddechadon
a yfasant ynddynt.
4 Yfasant win, a moliannasant dduwiau o aur, ac o
arian, o brês, o haiarn, o goed, ac o faen.
5 n Byssedd llaw dyn a ddaethant allan yr awr honno, n Mat. 24
ac a scrifennasant ar gyfer y canwyll-brenn ar galch- Mica 6, 9
iad pared llŷs y brenin, a gwelodd y brenin ddwrn y Hab. 2. 2
llaw yr hon a scrifenodd. Esa. 26,
6 o Yna y newidiodd lliw'r brenin, a'i feddyliau ai
cyffroasant ef, rhwymau ei lwynau ef a ddattodasant, Sal.
ai liniau ef a gurasant y naill wrth y llall. Mat 2
7 p Wedi galw o'r brenin yn groch am ddwyn i mewn Dat. 6, 1
yr astronomyddion, y Caldeaid, a'r brud-wŷr, y llefar- Diar. 17,
odd y brenin, ac y dywedodd wrth ddoethion Babilon, Ioan 16,
Pa ddyn bynnac a ddarlleno yr scrifen, ac a ddangoso psal.
i mi ei deongliad, efe a wisgir a phorphor, a [rhoddir]
cadwynau aur am ei wddf ef, a chaiff lywodraethu Ester 1,5
yn drydydd yn y deyrnas.
8 q Yna holl ddoethion y brenin a ddaethant i mewn, q 2 Cor. 3,
ond ni fedrent ddarllen yr scrifen, na mynegu i'r brenin
ei deongliad. Esa. 29,10
9 r Yna y mawr gyffrôdd y brenin Balthasar, a'i liw r Diar 16,
a newidiodd ynddo ef, ai dywysogion a synnasant. 14
10 s Y frenhines o herwydd geiriau y brenin ai dy- Marc 6,
wysogion a ddaeth i dŷ 'r wledd, [yna] y llefarodd y Mat.
frenhines, ac y dywedodd: Bydd fyw byth frenin, na Iudas 7
chyffroed dy feddyliau di, ac na newidied dy liw. Diar.
11 t Y mae gŵr yn dy deyrnas yr hwn [y mae] yspryd t Preg. 10
y duwiau sanctaidd ynddo, ac yn nyddiau dy dad y 2 Bren. 5,
caed ynddo ef oleuni, deall, a doethineb, fel doethineb
y duwiau: a'r brenin Nabuchodonosor dy dad ai gos- 2 Pedr 1,
ododd ef yn bennaeth y dewiniaid, astronomyddion, 19
Caldeaid, [a] brud-wŷr, [sef] dy dad ti O frenin.
12 u O herwydd cael ynddo ef, ([sef] yn Daniel, yr u Col. 1,

hwn y gosododd y brenin ei enw Baltassar) yspryd
rhagorol, a gwybodaeth, a deall, yn deongl breuddw-
ydion, ac eglurhâd dammegion, a dattodiad cylymmau:
galwer Daniel yr awr hon, ac efe a ddengys y deongliad.
13 Yna pan ddycpwyd Daniel o flaen y brenin, llef-
arodd y brenin, a dywedodd wrth Daniel, Ai tydi yw
Daniel yr hwn ydwyt o feibion caeth-glud Iuda, y
rhai a ddug y brenin fy nhad o Iuda?
v Mat. 7, 25 14 v Myfi a glywais [sôn] am danat, mai yspryd y
duwiau [sydd] ynot, a chael ynot ti oleuni a deall, a
doethineb rhagorawl.
w Esa. 26, 15 15 w Ac yr awr hon y dygwyd yr astronomyddion
Eph. 4, 18 doethion o'm blaen i ddarllen yr scrifen hon, ac i fyn-
1 Cor. 2, 14 egu i'm ei deongliad: ond ni fedrant ddangos deongl-
iad y peth.
x Act. 8, 13 16 x Yna y clywais am danat ti, y medri ddeongl
Num. 22, 15, 17 dirgeledigaethau, a dattod cylymmau, yr awr hon os
medri ddarllen yr scrifen, ac hyspyssu i mi ei deongl-
iad, yna i'th wisgir â phorphor, [rhoddir] hefyd gad-
wyni o aur am dy wddf, a chei lywodraethu yn
drydydd yn y deyrnas.
y Mat. 10, 8 17 y Yna yr attebodd Daniel, ac y dywedodd o flaen
2 Bren. 5, 16 y brenin, Bydded dy roddion i ti, a dod dy anrheg-
1 Cor. 9, 15 ion i arall: er hynny yr scrifen a ddarllenaf i'r
2 Cor. 11, 7 brenin, a'r deongliad a yspyssaf iddo ef.
18 z O frenin, y Duw Goruchaf a roddes i Nabuch-
z Ezec. 31, 14 odonosor dy dad frenhiniaeth, a mawredd, a gogon-
Sal. 2, 10 iant ac anrhydedd.
a 1 Pedr 2, 13 19 a Ac o herwydd y mawredd yr hwn a roddase efe
Ioan 19, 11 iddo, y bobloedd, y cenhedloedd, a'r ieithoedd oll
1 Sam. 8, 11 oeddynt yn crynu rhagddo ef: y rhai a fynne efe a
ladde efe, a'r hwn a fynne efe a darawe efe, hefyd y rhai
a fynne efe a gyfode efe, a'r rhâi a fynne a ostynge efe.
b Dat. 18, 7 20 b Eithr pan ymgododd ei galon ef, ac ymgryfhau
oi yspryd ef mewn balchder, efe a ddescynnwyd o
orseddfa ei frenhiniaeth, a'r gogoniant a dynnwyd
oddiwrtho ef.
21 Gyrrwyd ef hefyd oddiwrth feibion dynion, gos-
odwyd ei galon fel bwyst-fil, a chyd â'r assynod gwyllt-
ion [yr ydoedd] ei drigfa: â gwellt y porthwyd ef fel
eidion, ai gorph a wlychwyd gan wlith y nefoedd,
hyd oni wybu mai yr Duw Goruchaf oedd yn llyw-
odraethu ar frenhiniaeth dyn: ac y gosode efe arni
y neb a fynne efe.
c Ioel 2, 13 22 c A thithe Balthasar ei fab ef ni ostyngaist dy
Iago 4, 17 galon er gwybod o honot hyn oll.
d 1 Sam. 5, 9 23 d Yn erbyn Arglwydd y nefoedd yr ymdderchef-
Rhuf. 21, 22 aist, a llestri ei dŷ ef a dduepwyd ger dy fron di:
Ier. 10, 3 tithe a'th dywysogion, dy wragedd a'th ordderchadon
Sal. 115, 5, 6 a yfasoch win ynddynt hwy, a thi a foliennaist dduw-
a 50, 23 iau o arian, ac o aur, o brês, o haiarn, o brenn, ac o
Heb 4, 13 faen: y rhai ni welant, ac ni chlywant, ac ni wyddant
[ddim:] ac ni anrhydeddaist y Duw yr hwn [y mae] dy
anadl di yn ei law ef, a'th holl ffyrdd di ganddo ef.
e Act. 10, 12 24 e Yna yr anfonwyd dwrn y llaw oddi ger ei fron
ef, ac yr scrifennwyd yr scrifen hon.
25 Ac dymma yr scrifen yr hon a scrifennwyd
MENE, MENE, THECEL, UPHARSIN.
f Act. 15, 28 26 f Dymma ddeongliaid y ymadrodd, MENE, Duw
a rifodd dy frenhiniaeth, ac ai gorphennodd.
Sal 13, 19 27 g THECEL, ti a bwyswyd yn y cloriannau, ac
g Sal. 62, 9
Ier. 6, 30 i'th gaed yn brinn.
h Iob 18, 17 28 h PHERES, rhannwyd dy frenhiniaeth, a rhodd-
wyd hi i'r Mediaid, a'r Persiaid.
i Diar. 25, 2 29 i Yna y dywedodd Balthasar am wisco o honynt
Ddaniel â phorphor, ac â chadwynau o aur am ei wddf,
a chyhoeddi am dano ef y bydde efe yn drydydd yn
llywodraethu yn y frenhiniaeth.
30 j Y nosson honno y lladdwyd Balthasar brenin y j Sal. 32, 9
Caldeaid.
31 k A Darius Medus a gymmerodd y frenhiniaeth, k 2 Cron 36, 20
ac efe yn ddwy flwydd a thri ugain.

## PEN. VI.

*Daniel yn bennaf ar arglwyddi Babilon. 4 Hwythau yn cenfigennu, ac yn dychymmygu cyfraith yr hon ni alle Daniel ei chadw, 16 Ac felly yn cael ei fwrw ef i ffau y llewod. 22 Duw yn cadw Daniel. 24 Darius yn peri bwrw cyhudd-wyr Daniel at y llewod, ac yn cyhoeddi moliant i Dduw Daniel.*

GWELODD Darius yn dda osod o honaw ef ar y
deyrnas chwe ugain o dywysogion i fod ar yr
holl deyrnas.
2 l Ac arnynt hwy [yr oedd] tri rhaglaw, y rhai [yr l 1 Sam. 2, 30
oedd] Daniel yn un o honynt, i'r rhai y rhodde y ty- Luc 15, 2
wysogion gyfrif, fel na bydde y brenin mewn colled.
3 m Yna y Daniel hwn oedd yn rhagori ar y rhaglaw- m Diar. 5
iaid, a'r tywysogion, o herwydd [bod] yspryd rhagor- 35 a 24, 35
awl ynddo ef: a'r brenin a amcanodd ei osod ef ar yr Neh. 7, 2
holl deyrnas.
4 n Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion oeddynt yn n Preg. 4, 4
ceisio cael achos yn erbyn Daniel o ran y frenhiniaeth, Ier. 20, 10
ond ni allent gael un achos na llwgr, o herwydd 1 Pedr 2, 12
ffyddlon [oedd] efe, fel na cheid arno ddim bai, na
llygredigaeth.
5 o Yna y dywedodd y gwŷr dyn, Ni chawn yn erbyn o 1 Sam. 24, 17
y Daniel hwn ddim achos, oni chawn [beth] yng-hyf- Ester 3, 3
raith ei Dduw yn ei erbyn ef.
6 p Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion hyn a aethant p Diar. 1, 11
yng-hyd at y brenin, ac a ddywedasant wrtho ef fel Ioan 19, 7
hyn: Darius frenin bydd fyw byth.
7 q Holl raglawiaid y deyrnas, y swyddogion a'r q 1 Tim. 1, 13
tywysogion, y cynghoriaid a'r dugiaid a ymgynghor-
asant am osod deddf frenhinol, a chadarnhau gorch-
ymyn, mai i ffau y llewod y bwrir pwy bynnac a arche
arch gan un duw na dyn tros ddeng-nhiwrnod ar
hugain, onid gennit ti O frenin.
8 Yr awr hon O frenin sicrha y gorchymyn, a selia'r
scrifen, fel nas newidier: megis cyfraith y Mediaid a'r
Persiaid, yr hon sydd safadwy.
9 r O herwydd hyn y seliodd brenin Darius yr scrifen r Sal. 62, 11
â'r gorchymyn. a 118, 9
10 s Yna Daniel (pan wybu selio'r scrifen) a aeth i'w s Act. 15, 46
dŷ: a'r ffenestri oeddynt agored iddo ef yn ei stafell Mat. 10, 32
ar gyfer Ierusalem: a thair gwaith yn y dydd y gos- Phil. 4, 6
tynge efe ar ei liniau, ac y gweddie efe, ac y cyffesse Dat. 2, 13
o flaen Duw, megis y gwnae efe cyn hynny. Act 4, 13
11 t Yna y gwŷr hyn a ddaethant yng-hyd, ac a t Act. 7, 57
gawsant Ddaniel yn gweddio, ac yn ymbil o flaen ei
Dduw.
12 Yna y daethant, ac y dywedasant o flaen y brenin
am orchymmyn y brenin: Oni seliaist ti orchymmyn,
mai i ffau y llewod y bwrid pa ddyn bynnac a geisie
gan un duw, na dyn [ddim] tros ddeng-nhiwrnod ar
hugain, onid gennit ti O frenin? attebodd y brenin a
dywedodd, Gair safadwy [yw hwnnw] fel cyfraith y
Mediaid, a'r Persiaid yr hon ni throssedda [neb.]
13 u Yna'r attebasant ac y dywedasant o flaen y bren- u Ester 3, 8
in: Daniel yr hwn sydd o feibion caeth-glud Iuda ni Sal. 12, 4
wnaeth gyfrif o honot ti frenin, nac o'r gorchymyn yr
hwn a seliaist: eithr tair gwaith yn y dydd y mae yn v Diar. 5, 8
gweddio ei weddi ei hun.
14 v Yna 'r brenin (pan glybu 'r gair hwn) a aeth yn Amos 1, 11

ddrwg iawn arno, ac a osododd ei fryd gyd â Daniel
ar ei waredu ef, ac a fu hyd fachludiad haul yn ei
achub ef.
w Ioan 19, 7 15 w Yna y gwŷr hynny a ddaethant yng-hyd at y
brenin ac a ddywedasant wrth y brenin, Gwybydd
frenin mai cyfraith y Mediaid a'r Persiaid [yw] na newidier un gorchymyn na deddf o'r rhai a osodo y brenin.
x Mat. 27, 24 16 x Yna yr archodd y brenin, a hwynt a ddugasant
Sal. 37. 32 Ddaniel, ac ai bwriasant i ffau y llewod: [yna] y brenin
Rhuf. 13, 3 a lefarodd, ac a ddywedodd wrth Ddaniel, Dy Dduw
Act. 26, 7 yr hwn yr ydwyt yn ei wasanaethu yn wastad, efe a'th
achub di.
y Mat. 27 17 y Yna y dygwyd un garreg, ac ai gosodwyd ar
Rhuf. 3, 7 enau y ffau, a'r [brenin] ai seiliodd hi ai sêl ei hun, ac
â sêl ei dywysogion, fel na newidid yr hyn a ewyllysiasid am Ddaniel.
z Rhuf. 2, 18 z Yna yr aeth y brenin iw lŷs, ac a fu y nosson
13 2 Cor. 7, 10 honno heb fwyd, ac ni adawodd ddwyn difyrwch oi
flaen, ei gwsc hefyd a giliodd oddi wrtho ef.
1 Bren 21, 27 19 a Yna y cododd y brenin ar wawr ddydd, ac a
a Mat 28, 7 aeth ar frŷs hyd ffau y llewod:
1 Thes. 1, 3 20 A phan nessaodd efe at y ffau, efe a alwodd am
Ddaniel â llais trist, llefarodd y brenin [hefyd,] a
dywedodd wrth Ddaniel, Daniel, gwasanaeth-wr y
Duw byw, oni alle dy Dduw di yr hwn yr wyt ti yn ei
wasanaethu yn oestad dy gadw di rhag y llewod?
21 Yna y dywedodd Daniel wrth y brenin, O frenin
bydd fyw byth:
b Sal. 91, 11 22 b Fy Nuw a anfonodd ei Angel, ac a gaeodd safn
Heb. 11, 33 y llewod, fel na wnaethant i'm niwed, o herwydd
Dat. 14. 5 puredd a gaed ynof ger ei fron ef: a hefyd ni wnaethwn
Act. 24, 16 niwed o'th flaen dithe frenin.
c Iona 2, 10 23 c Yna y brenin fu dda iawn ganddo, ac a archodd
gyfodi Daniel o'r ffau, yna y codwyd Daniel o'r ffau,
Heb. 11, 33 ac ni chaed niwed ynddo, o herwydd credu o honaw
yn ei Dduw.
d Est 7, 10 24 d Yna y brenin a ddywedodd am ddwyn y gwŷr
a 9, 10 hynny y rhai a gyhuddasent Ddaniel, ai bwrw i ffau
y llewod, hwynt, ai plant, ai gwragedd: ac ni ddaethent i waelod y ffau hyd oni orchfygodd y llewod
hwynt, a dryllio eu hesgyrn.
e 1 Tim. 2, 2 25 e Yna yr scrifennodd y brenin Darius at y bobloedd, at y cenhedloedd, a'r ieithoedd oll, y rhai oeddynt yn trigo yn yr holl dir: Heddwch a amlhaer i chwi.
f Phil. 2, 10 26 f O'm blaen i y gosodwyd cyfraith trwy holl
Sal. 99, 1 lywodraeth fy nheyrnas, ar fod o honynt yn crynnu,
Act. 17, ac yn ofni rhag Duw Daniel, o herwydd efe [sydd]
Iago 1 17 Dduw byw, ac yn parhau byth: ei frenhiniaeth ef
hefyd ni dderfydd, na'i lywodraeth byth.
g 2 Cor. 1, 10 27 g Y mae yn gwaredu, ac yn achub, ac yn gwneuthur arwyddion, a rhyfeddodau yn y nefoedd, ac ar y
Act. 4, 16 ddaiar, yr hwn a waredodd Ddaniel o feddiant y
llewod.
h Heb. 13, 7 28 h A'r Daniel hwn a lwyddodd yn nheyrnasiad
Darius, ac yn nheyrnasiad Cyrus y Persiad.

## PEN. VII.

*Daniel yn gweled pedwar anifail, 14 Ac un dyn. 17 Y rhai a arwyddocant bedair brenhiniaeth, 27 A thragywyddawl lywodraeth Grist.*

Amos 3, 7 YN i y flwyddyn gyntaf i Balthasar frenin Babilon
Rhuf. 15, 4 y gwelodd Daniel freuddwyd, a gweledigaethau
[oeddynt yn] ei benn ar ei wely: yna efe a scrifennodd
Act 13, 22 y breuddwyd, [ac] a draethodd swm y geiriau.
Dat 7, 1 2 j Llefarodd Daniel, a dywedodd, Edrych yr oedd-
Esa. 27, 10 wn yn fyng-weledigaeth gyd â'r nos, ac wele bedwar
RHIF. XVII.

gwynt y nefoedd yn ymrwygo yn y môr mawr.
3 k A phedwar bwyst-fil mawr a ddaethant i fynu o'r k Pen. 2, 31
môr yn amrywio y naill oddi wrth y llall. Dat. 13, 1
4 Y cyntaf [oedd] fel llew, ac iddo adenydd eryr, a 13, 2
edrychais [arno] hyd oni thynnwyd ei adenydd, ai
gyfodi oddi wrth y ddaiar, a sefyll o honaw ar ei draed
fel dyn, a rhoddi iddo galon dyn.
5 l Ac wele 'r ail anifail arall yn debyg i arth, ac ar l Sal 103, 20
y naill ystlys y safe, ac yr oedd tair assen yn ei safn ef Dat 19, 18
rhwng ei ddannedd, ac fel hyn y dywedent wrtho ef,
Cyfot, bwytta gig lawer.
6 Wedi hyn yr edrychais, ac wele un arall megis
llewpard, ac iddo bedair aden aderyn ar ei gefn, a
phedwar pen bwyst-fil, a rhoddwyd iddo lywodraeth.
7 m Wedi hyn yr oeddwn yn edrych mewn gweledigaethau nôs, ac wele y pedwerydd bwyst-fil yn ofnadwy, ac yn aruthrol, ac yn gryf ragorol, ac iddo ddannedd mawrion o haiarn: yr oedd yn bwytta, ac yn m Ioan 11, 48 Mat. 23, 38 Dat. 13, 1
dryllio, ac yn sathru y gweddill tann ei draed: hefyd
[yr ydoedd] efe yn amryw oddi wrth y bwyst-filod oll,
y rhai [fuasent] oi flaen ef, ac [yr oedd] iddo ef ddêc
o gyrn.
8 n Yr oeddwn yn ystyried am y cyrn, ac wele n 2 Thes. 2, 7
cyfododd corn bychan arall rhyngddynt hwy, a thynnwyd tri o'r cyrn cyntaf oi flaen ef: ac wele lygaid Luc 16, 8 2 Thes. 2, 4
fel llygaid dyn yn y corn hwnnw, a genau yn traethu
mawrhydri.
9 o Edrychais hyd oni chyfodwyd gorseddfeudd, o Sal. 90, 2
yna yr eisteddodd Hen ddihenydd, ei wisc [oedd] cynn Ezec. 1, 15
wynned â'r eira, a gwallt ei ben fel gwlân pûr: ei
orseddfa yn fflammau tân, ai olwynion yn dân poeth.
10 p Afon danllyd oedd yn rhedeg, ac yn dyfod allan p Sal. 50, 3
oddi ger ei fron ef, mil o filoedd ai gwasanaethent, a Dat. 5, 11
myrdd myrddiwn a safent ger ei fron ef: eisteddwyd a 20, 12
[ar] y farn, ac agorwyd y llyfrau.
11 q Edrychais yna o [ddechreuad] llais y geiriau q Dat. 19, 20
mawrion y rhai a draethodd y corn, [fe] edrychais hyd 2 Thes 2, 8
oni laddwyd y bwyst-fil, a difetha ei gorph ef, ai roddi
iw losci yn tân.
12 r A llywodraeth y rhann arall o'r bwyst-filod a r 1 Sam 15, 1, 14
dducpwyd, a rhoddwyd iddynt einioes tros yspaid, ac
amser.
13 s Oeddwn yn edrych mewn gweledigaethau nôs s Dat. 1, 13
ac wele megis mab dyn oedd yn dyfod gyd â chwmmylau y nefoedd, ac hyd at Hen ddihenydd y daeth efe, 1 Tim. 2, 5
ac o flaen hwnnw y dugwyd ef. Heb. 1, 6
14 t Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a t Sal. 2, 8
brenhiniaeth fel y gwasanaethe yr holl bobloedd, cenhedloedd ac ieithoedd ef: ei lywodraeth [sydd] lywodraeth dragywyddol, yr hon ni ddygir, ai frenhiniaeth Luc 19, 12
ni lygrir:
15 Drylliwyd fy yspryd mau fi Daniel yng-hanol
fyng-horph, a gweledigaethau fy mhen a'm dychrynnasant.
16 u Deuthum at un or rhai a safent [yno] a cheisiais ganddo sicrwydd am hyn oll: ac efe a ddywedodd i mi, ac a ddyscodd i mi ddeongliad y geiriau. u 2 Pedr 1, 19 Diar 2, 3, 4
17 v Y bwyst-filod mawrion hyn (y rhai oeddynt Dat. 1, 1
bedwar) [y'nt] bedwar brenin [y rhai] a gyfodant o'r Heb. 1, 14
ddaiar. Mat. 28, 1
18 w Ac a dderbyniant frenhiniaeth y saint Goruchaf, ac a feddiannant y frenhiniaeth hyd byth, ac w 1 Cor. 15, 47 Dat. 2, 27
hyd byth bythoedd.
19 x Yna ewyllysiais sicrwydd am y pedwerydd x Dat.
bwyst-fil, yr hwn oedd yn amrywio oddi wrthynt oll, Phil.
yn ofnadwy odieth, ai ddannedd o haiarn, ai ewinedd

o brês, yn bwytta, ac yn dryllio, ac yn sathru y gwedd-
ill âi draed,
20 Ac am y dêc corn y rhai [oeddynt] ar ei benn ef,
a'r llall yr hwn a gyfodase, ac y syrthiase tri oi flaen,
sef y corn yr hwn [oedd] llygaid iddo, a genau yn
traethu mawrhydri, a'r olwg arno oedd yn arwach na'i
gyfeillion.
y Dat. 13, 21 y Edrychais, a'r corn hwn oedd yn gwneuthur
7 rhyfel a'r sainct, ac yn drêch na hwynt,
Dat 19, 17 22 z Hyd oni ddaeth Hên ddihenydd, a rhoddi barn
18 z Mat. 19, i'r sainct Goruchaf, a dyfod o'r amser a meddiannu o'r
28 1 Cor. 6, 2 sainct y frenhiniaeth.
3 23 a Fel hyn y dywedodd efe, Y pedwerydd bwyst-
Esa. 63, 4 fil fydd y bedwaredd frenhiniaeth ar y ddaiar, yr hon
a Luc 2, 1 Mat. 24, a amrywia oddi wrth yr holl frenhiniaethau: hefyd
26 hi a ddifa yr holl ddaiar, ac ai sathr hi, ac ai dryllia.
b Sal. 2, 1, 24 b A'r dêc corn o'r frenhiniaeth honno [fyddant]
2 ddêc brenin [y rhai] a gyfodant, ac arall a gyfyd ar eu
a 7 3, 6, 7, 8 hol hwynt, ac efe a amrywia oddi wrth y rhai cyntaf,
ac a ddarostwng dri brenin.
c Dat. 13, 25 c Ac efe a draetha eiriau yn erbyn y Goruchaf, ac
6 1 Tim. 4, 1 a ddifa sainct y Goruchaf: efe hefyd a amcâna newidio
3 amseroedd, a chyfraith, a hwynt a roddir yn ei law ef,
Dat. 1, 14 hyd amser, ac amseroedd, a hanner amser.
26 Yna yr eisteddir [ar] farn, ai awdurdod a ddyg-
ant, gan anrheithio a difetha hyd y diwedd.
d Luc 12, 27 d Yna brenhiniaeth, a llywodraeth, a mawredd y
37 frenhiniaeth tann yr holl nefoedd a roddir i bobl sainct
y Goruchaf: ei frenhiniaeth [fydd] brenhiniaeth drag-
ywyddol, a phob llywodraeth a wasanaethant, ac a
ufuddhânt iddo.
e Luc 2, 51 28 e Hyd ymma [y mae] diwedd y gair: fy meddyliau
Daniel a'm dychrynnodd yn ddirfawr, a'm lliw ai
newidiodd ynof: a chedwais y gair yn fyng-halon.

## PEN. VIII.

*Ymladdiad hwrdd â bŵch, yn arwyddocau rhyfel rhwng y Persiaid a'r Groegiaid.*

f 1 Cor. 15, YN f y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Balthasar
8, 9 Hab. 2, 2 y brenin yr ymddangosodd i mi weledigaeth:
myfi Daniel [ai gwelais] wedi [yr hon] a ymddangosase
i mi yn y dechreuad.
g Ezec 8, 2 g Gwelais hefyd mewn gweledigaeth, a bu pan wel-
3 Gen. 10, ais, mai yn Susan y brenhin-lys yr hwn [sydd] o fewn
22 talaith Elam [yr oeddwn] i: ie gwelais mewn gweled-
igaeth, ac yr oeddwn i wrth afon Ulai,
h Diar. 8, 3 h Yna y cyfodais fy llygaid, ac edrychais, ac wele
34 Zec. 1, 21 ryw hwrdd yn sefyll wrth yr afon, a deu-gorn iddo,
a'r ddau gorn oeddynt uchel, ac un yn uwch na'r llall:
ar uchaf a gyfodase yn olaf.
i 1 Cor. 15, 4 i Gwelwn yr hwrdd yn cornio tua 'r gorllewin, tua
32 Sal. 4, 4 'r gogledd, a thua'r deau, ac ni safe un bwyst-fil oi
flaen ef, ac nid [oedd] a achube rhagddo ef: ond efe
a wnaeth yn ol ei ewyllys ei hun ac a ymfawrygodd.
j Sal. 37, 5 j Ac yr oeddwn yn ystyried [hyn,] wele hefyd fŵch
35 a 10, 13 geifr yn dyfod o'r gorllewyn, ar hyd wyneb yr holl
ddaiar, ac heb gyffwrdd â'r ddaiar, ac i'r bŵch [yr oedd]
corn amlwg rhwng ei lygaid.
6 Ac efe a ddaeth hyd at yr hwrdd cornioc yr hwn
a welswn yn sefyll wrth yr afon, ac efe a redodd atto
ef ai holl nerth.
k Diar. 6, 7 k Gwelais ef hefyd yn dyfod at yr hwrdd, ac efe a
34 Num. 14 ymchwerwodd wrtho ef, ac a darawodd yr hwrdd, ac
9 a dorrodd ei ddau gorn ef, ac nid oedd cryfder yn yr
Iob 20, 5 hwrdd i sefyll oi flaen ef, eithr efe ai bwriodd ef i lawr,
ac ai sathrodd ef ac nid oedd a achube yr hwrdd oi
law ef.

8 A'r bŵch geifr a ymfawrygodd yn fawr, ac wedi
ei gryfhau torrodd y corn mawr, a chododd megis
pedwar corn yn ei le ef tua phedwar gwynt y nef-
oedd.
9 l Ac o un o honynt y daeth allan un corn bychan, l Sal. 48, 2
ac a dyfodd yn rhagorol tua 'r dehau a thua 'r dwyr-
ain, a thua 'r hardd-wlâd.
10 m Tyfodd hefyd hyd llû y nefoedd, a bwriodd i m Esa 14,
lawr [rai] o'r llû, ac o'r sêr, ac ai sathrodd hwynt. 13 Dat 1, 20
11 Ymfawrygodd hefyd hyd at dywysog y llû, yna
y dugwyd ymmaith yr [offrwm] gwastadol oddi wrtho
ef, ac y bwriwyd ymmaith le ei gyssegr ef.
12 n Felly y gosodir llû yn erbyn yr [offwrm] gwas- n Esa 59,
tadol mewn camwedd, ac efe a fwrw y gwirionedd i 14 Ier 8 1
lawr, felly y gwna, ac y llwydda.
13 o A chlywais ryw sanct yn llefaru, â rhyw sanct o 1 Pedr 1
wrth ryw un rhagorol oedd yn llefaru: Pa hyd [yr 12
erys] gweledigaeth yr offrwm gwastadol, gan roddi y
cyssegr a'r llû yn sathrfa?
14 Ac efe a ddywedodd wrthif, Hyd ddwy fil a thry-
chant o ddiwrnodau: yna y purir y cyssegr.
15 p A phan welais i Daniel y weledigaeth a cheisio p 1 Pedr 1
o honof ddeall, yna wele safodd ger fy mron megis 10
rhith gŵr.
16 q A chlywais lais dyn rhwng [glannau] Ulai, ac q Luc 1
efe a lefodd, ac a ddywedodd, Gabriel, gwna i hwn 26 Mat 16 17
ddeall y weledigaeth.
17 Ac efe a ddaeth wrth y lle y sefais, a phan
ddaeth mi a ddychrynais, ac a syrthiais ar fy wyneb,
ac efe a ddywedodd wrthif, Deall fab dyn, o herwydd
y weledigaeth [sydd] dros amser terfynol.
18 r A thra y llefarodd wrthif, syrthiais mewn trym- r Ioan 15
gwsc i lawr ar fy wyneb: ac efe a gyffyrddodd â mi, 5 Hab 2 1
ac a'm cyfododd yn fy sefyll.
19 Dywedodd hefyd, Wele fi yn yspyssu it yr hyn a
fydd yn niwedd y digter, canys ar amser gosodedic [y
bydd] diben.
20 s Yr hwrdd yr hwn a welaist yn berchen deu-gorn s Mat 15,
[yw] brenin y Mediaid, a'r Persiaid. 38
21 A'r bŵch blewog [yw] brenin Groec, a'r corn
mawr yr hwn [oedd] rhwng ei lygaid, dyna y brenin
cyntaf.
22 t Lle y drylliwyd ef, ac y cyfododd pedwar yn ei t Mat 12,
le, pedair brenhiniaeth a gyfodant o'r [un] genhedl- 25
aeth, ac nid un nerth âg ef.
23 u Ac yn niwedd eu brenhiniaeth hwynt, (pan u Deut 28
gyflawner [rhifedi] y trossedd-wyr) y cyfyd brenin 50 1 Sam 3 31
caled ei wyneb, ac yn deall dammegion.
24 v Ai nerth ef a gadarnheuir, ond nid yn ei nerth v Sal 45
ei hun, efe a ddinistria yn rhyfedd ac a lwydda, ac
a orphen: ie efe a ddinistria y cedyrn, a'r bobl sanct-
aidd.
25 w A thrwy ei gyfrwystra ef y ffynna ganddo w Diar 21
dwyllo, ac efe a ymfawryga yn ei galon: a thrwy 6 Dat 16 7
lonyddwch y dinistria efe lawer, ac efe a saif yn erbyn Act 12 23
tywysog y tywysogion, yna y dryllir ef heb law.
26 x A gweledigaeth yr hwyr, a'r boreu, yr hon a x Rhuf 3
draethwyd sydd wirionedd, selia dithe y weledigaeth, 4 Esa 8 16
o herwydd wedi dyddiau lawer [y bydd.]
27 y Minne Daniel a lesceais, ac a fum glaf ennyd, yna y Sal 31 1
y cyfodais, ac y gwneuthum orchwyl y brenin, ac a
ryfeddais o herwydd y weledigaeth, gan nad [oedd] a
fedre ddirnad.

## PEN. IX.

*Gweddi Daniel ai gyffes. 21 Gabriel yn dangos iddo ef ddirgelwch y deng-hwythnos a thrugain, a pha beth a fydde iddynt.*

YN y flwyddyn gyntaf i Ddarius fab Ahasferus o
had y Mediaid yr hwn a wnaethid yn frenin ar
deyrnas y Caldeaid,
z Ier 25 11 Sal 90 10 2 z Yn y flwyddyn gyntaf oi deyrnasiad ef, myfi
Hab 2 3 Daniel a ddeallais mewn llyfrau rifedi y blynyddoedd
Mica 5 12 [am] y rhai y daethe gair yr Arglwydd at Ieremi y
Ier 25 11 prophwyd, am gyflawni y deng-mhlynedd a thrugain,
[yn y rhai y bydde] Ierusalem yn anghyfannedd.
a Ezec 36 37 3 a Yna y troais fy wyneb at yr Arglwydd Dduw, i
Sal 102,17 geisio [trwy] weddi ac ymbil mewn ympryd, a sach-
liain a lludw.
4 A gweddiais ar yr Arglwydd fy Nuw, a chyffesais,
a dywedais, Attolwg Arglwydd Dduw mawr ac ofn-
adwy, ceidwad cyfammod, a thrugaredd i'r rhai ai
carant ef, ac a gadwant ei orchymynion:
b Sal. 106, 6 5 b Pechasom a gwyrasom, a buom anwir, gwrthry-
Esa. 64, 5, 6, 7 felasom hefyd, a [hynny] gan gilio oddi wrth dy orch-
ymynion, a'th farnedigaethau.
c 2 Cron. 36, 35 6 c Ni wrandawsom ychwaith ar y prophwydi dy
Zec 7, 8 weision, y rhai a lefarasant yn dy enw di wrth ein
d Sal 51,4 brenhinoedd, ein tywysogion, ein tadau, ac wrth holl
Rhuf. 6, 21 bobl y tir.
7 d I ti Arglwydd y perthyn cyfiawnder, ac i ninne
gywilydd goleu: megis heddyw [y mae] i wyr Iuda,
ac i drigolion Ierusalem, ac i holl Israel yn agos ac
ym mhell, yn yr holl diroedd lle y gwasceraist hwynt,
am eu camwedd yr hwn a wnaethant i'th erbyn.
8 Arglwydd [y mae] cywilydd goleu i ni, i'n bren-
hinoedd i'n tywysogion ac i'n tadau, y rhai a bechas-
om i'th erbyn.
e Sal. 130, 3, 7 9 e Gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugaredd a
Esa. 63 15 maddeuant, er gwrthryfela o honom iw erbyn.
f 1 Thes. 2 13 10 f Ni wrandawsom ychwaith ar lais yr Arglwydd
ein Duw, gan rodio yn ei gyfreithiau ef, y rhai a
2 Pedr 1, 19 roddodd efe o'n blaen ni trwy law ei weision y proph-
wydi.
g Ier. 8, 5 11 g Ie holl Israel a drosseddasant dy gyfraith di,
Esa. 1, 5, 6 a [hynny] gan gilio heb wrando ar dy lais di: am
hynny y tywalltwyd arnom ni y felldith a'r llw y
rhai a scrifennwyd yng hyfraith Moses gwasanaeth-wr
Duw, am bechu o honom yn ei erbyn ef.
h Zec. 1,6 12 h Ac efe a gyflawnodd ei eiriau y rhai a lefarodd
Mat. 5,18 efe am danom ni, ac am ein barn-wyr y rhai a'n
Amos 3,2 Mat. 24, 21 barnent, gan ddwyn arnom ni ddialedd mawr, yr
hwn ni bu tann yr holl nefoedd megis y mae yn
Ierusalem.
i Hos. 7,7 13 i Megis ac yr scrifennasid yng-hyfraith Moses y
Ier. 2, 30 daeth yr holl ddrwg-fyd hyn arnom ni: ac ni ymbil-
iasom o flaen yr Arglwydd ein Duw, gan droi oddi-
Ier 31 28 wrth ein anwiredd, a chan ddeall dy wirionedd di.
Pedr 2 3 14 j Am hynny y gwiliodd yr Arglwydd am ddial-
Mica 6, 9 Esa 9, 13 edd, ac ai dug arnom ni, o herwydd cyfiawn [yw]'r
Arglwydd ein Duw yn ei holl weithredoedd a'r a
k 2 Cor. 1, 9 wnaeth: canys ni wrandawsom ni ar ei lais ef.
Sam. 17, 37 15 k Etto yr awr hon O Arglwydd ein Duw yr hwn
a ddygaist dy bobl o wlad yr Aipht a llaw gref, ac a
Ex. 9. 16 wnaethost i ti enw megis heddyw, pechasom [ac] ni a
15, 6, 7, 1 wnaethom anwiredd.
Thes. 1 16 l Troer weithian yn ol dy holl gyfiawnderau Ar-
Galar. 2, 5 glwydd lidiawgrwydd dy ddigter oddi wrth dy ddi-
nas Ierusalem dy fynydd sanctaidd, o herwydd am ein
pechodau, ac am anwireddau ein tadau y mae Ieru-
salem a'th bobl yn wradwydd i bawb o'n hamgylch.
a 1 Bren. 35 17 m Ond yr awr hon gwrando ein Duw ni ar weddi
Sal. 80,17 dy was, ac ar ei ddeisyfiadau ef, a llywyrcha dy wyn-
Eph 1, 6 eb ar dy gyssegr anrhaithiedic, er mwyn yr Arglwydd.

18 n Gostwng dy glust fy Nuw a chlyw, agor dy n Ier. 36, 7
lygaid a gwel ein hanrhaith ni, a'r ddinas yr hon y Rhuf. 3,
galwyd dy enw di arni: o herwydd nid yn ein cyf- 27
iawnderau ein hun yr ydym ni yn tywallt ein gweddi-
au ger dy fron, eithr yn dy aml drugareddau di.
19 o Clyw Arglwydd, arbet Arglwydd, ystyr O Arg- o Esa. 48,
lwydd, a dwg i ben, nac oeda er dy fwyn dy hun O 9
fy Nuw, o herwydd dy enw di a alwyd ar y ddinas Mat. 11,
hon, ac ar dy bobl. 26
20 p A mi etto yn llefaru ac yn gweddio, ac yn cy- p Act. 4,
ffessu fy mhechod, a phechod fy mhobl Israel, ac yn 31 a 13, 2
tywallt fyng-weddi ger bron yr Arglwydd fy Nuw
tros fynydd sanctaidd fy Nuw:
21 q [Ie] a mi etto yn llefaru mewn gweddi, yna y q Sal. 103,
gwr Gabriel yr hwn a welswn mewn gweledigaeth yn 20 Ex. 29,39
y dechreuad gan ehedec yn fuan a ddaeth attafi yng- Act. 3, 1
hylch pryd yr hwyr offrwm.
22 r Ac efe a barodd [i'm] ddeall, ac a lefarodd wrth- r Gal. 3 19
if, ac a ddywedodd, Daniel yr awr hon y daethum
allan i beri it fedru deall.
23 s Yn nechreu dy weddiau yr aeth gorchymyn s Iago 5,
allan, ac mi a ddeuthum iw fynegu, canys annwyl 17
[ydwyt] ti: ystyr dithe y peth, a deall y weledigaeth.
24 t Deng-hwythnos a thri ugain a derfynwyd ar dy t 2 Cor. 5,
bobl, ac ar dy ddinas sanctaidd i ddifa camwedd, ac i 21
seilio pechodau, ac i wneuthur iawn am anwiredd, ac Heb 9,12
i ddwyn cyfiawnder tragwyddawl: ac i seilio'r wel- Ioan 3,34
edigaeth, a'r brophwydoliaeth, ac i eneinio y cyssegr
sancteiddiolaf.
25 u Gwybydd gan hynny a deall [y bydd] o fyned- u Mat. 24,
iad y gorchymyn allan am ddychwelyd [o'r bobl] ac 15 Ezra 1, 1
am adeiliadu Ierusalem hyd y blaenor Messiah, saith Ioan 1,42
wythnos, a dwy wythnos a thrugain, yna y cyweirir,
ac yr adeiliedir yr heol, ar mur mewn amser blin.
26 v Ac wedi dwy wythnos a thrugain y lleddir y Mes- v Esa. 53,
siah, ond nid oi achos ei hun, a phobl y tywysog yr 8
hwn a ddaw a ddinistria y ddinas a'r cyssegr, ai ddiw- Luc 19,44
edd ef fydd trwy lifeiriant, ac hyd ddiwedd y rhyfel
[y caiff efe] ddinistr anrheithiol.
27 w Hefyd mewn un wythnos y gwnaiff efe gyfam- w Rhuf. 5, 15
mod a llawer, ac yn hanner yr wythnos y gwna efe i'r Mat 8,11
aberth, a'r bwyd-offrwm beidio: yna trwy lu ffiaidd a 24, 15
yr anrheithia efe, hyd oni ymdywallto diben, a thrange Esa. 28,
ar yr anrheithiedic. 22

## PEN. X.

*Angel yr Arglwydd yn cyssuro Daniel.*

YN x yn y drydedd flwyddyn i Cyrus brenin Persia x Mat 13,
y datcuddiwyd peth i Ddaniel, (yr hwn y gel- 12 Esa. 44 7
wyd ei enw Baltassar) ar peth [sydd] wir, ond y cyf- Mat. 15,
amser [sydd] hir: ac efe a ddeallodd y peth, ac a gaf- 11
odd wybod y weledigaeth.
2 Yn y dyddiau hynny y galerais i Daniel dair
wythnos o ddyddiau.
3 y Ni fwytteais fara blasus, ac ni ddaeth cig na gwin y Galat. 2
yn fyng-enau, gan iro hefyd nid ymirais, nes cyflawni 6, 10 Jer. 31 9
tair wythnos o ddyddiau. Luc 18, 1
4 z Ac yn y pedwerydd dydd ar ddec o'r mis cyntaf z Ex. 12 8
yr oeddwn i wrth ymyl yr afon fawr, honno [yw] Act 16,
Hidecel.
5 a Yna y cyfodais fy llygaid, ac yr edrychais, ac a Ios. 5,13
wele ryw wr wedi ei wisco a lliain, ai lwyni wedi eu Dat. 1, 13 a 15, 6

PEN. IX. adn. 24) DENG WYTHNOS A THRUGAIN. Y mae'r Arglwydd yn gwneuthur ei brophwydi yn lamp i'w eneiniog, Sal. cxxxii 17. 2 Cor. i. 21. Felly Daniel yn hyspysu dyfodiad Crist, yn mhen 70 o wythnosau blynyddol, sef, 490 mlynedd: neu, 70 seithwaith. Mewn gofid, cofied pawb o'r duwiol, Crist yw'n gwobr yn dragwyddol, Gen. xv. 1.

gwregyssu âg aur coeth o Uphaz.
b Mat. 17, 2. 6 [b]Ai gorph ef [oedd] fel maen Turcas, ai wyneb fel
Dat. 1, 14 gweledìad mellten, ai lygaid fel ffaglau tân, ai freich-
a 19, 12 iau ai draed, fel lliw prês gloiw, a sain ei eiriau ef fel
sain tyrfa.
c Act. 9, 7 7 [c] A mi Daniel yn unic a welais y weledigaeth, a'r
1 Pedr 1, dynion y rhai oeddynt gyd â mi ni welsant y weledig-
19 aeth: eithr syrthiodd arnynt ddychryn mawr, fel y
ffôasant hwy i ymguddio.
d 2 Cor. 12 8 [d] A mi a adawyd fy hunan, ac a welais y weledig-
2, 3 aeth fawr hon, ac ni thrigodd nerth ynof, am lliw a
drôdd ynof yn llygredigaeth, ac ni ellais attal [fy]
e 2 Cor. 5, nerth.
11 9 [e] Yna y clywais sain ei eiriau ef, a phan glywais
sain ei eiriau ef, yna y llewygais ar fy wyneb a'm
f Heb. 4, hwyneb tua 'r ddaiar.
15 10 [f] Ac wele llaw a gyffyrddodd â mi, ac a'm gosod-
odd a'r fyng-liniau, ac ar gledr fy nwylo.
11 Ac efe a ddywedodd wrthif, Daniel ŵr hoff,
deall y geiriau y rhai a lefaraf wrthit, a sâf di yn dy
sefyll, canys attat ti i'm hanfonwyd yr awr hon: a
phan ddywedodd efe wrthif y gair hwn, sefais gan
g 1 Ioan 1, grynu.
18 12 [g] Hefyd dywedodd wrthif, Nac ofna Daniel, o
Act. 10, 4 herwydd er y dydd cyntaf y rhoddaist dy galon i
ddeall, ac i ymgystuddio ger bron dy Dduw y gwran-
dawyd dy eiriau, ac o herwydd dy eiriau di y daeth-
um i.
h Eph. 1, 13 [h] Ond tywysog teyrnas Persia a safodd yn fy erbyn
22 a 6, 12 un diwrnod ar hugiain, ac wele Michael, un o'r ty-
wysogion pennaf a ddaeth i'm cynhorthwyo: a mi a
arhoes gyd â brenhinoedd Persia.
i Hos. 3, 4 14 [i] A mi a ddaethum i beri it ddeall yr hyn a ddig-
5 wydd i'th bobl yn y dyddiau diweddaf, o herwydd y
Hab. 2, 3 weledigaeth [a oedir] tros ddyddiau etto.
15 A phan lefarodd efe wrthif fel hyn, rhoddais fy
wyneb tua 'r ddaiar, a thewais.
j Esa. 6, 7 16 [j] Ac wele, peth tebyg i ddyn a gyffyrddodd â'm
Ier. 1, 9 gwefusau, yna yr agorais fy safn, ac y lleferais, ac y
Sal. 51, 15 dywedais wrth yr hwn oedd yn sefyll a'r fyng-hyfer,
Preg. 1, O fy Arglwydd, fyng-ofidiau a droesant arnaf yn y
18 weledigaeth hon, ac ni ellais attal [fy] nerth.
k Deut. 5, 17 [k] A pha fodd y dichon gwasanaeth-wr fy Ar-
24 glwydd ymma, lefaru wrth fy Arglwydd ymma? ac o
1 Ioan 1, hynny allan ni safodd fy nerth ynof, ac nid arhôdd
23 ffûn ynof.
Dat. 1, 17 18 [l] Yna y cyffyrddodd efe eil-waith â mi, fel dull
Esa. 6, 23 dyn, ac efe am cyssurodd,
l Sal. 103, 19 [m] Ac efe a ddywedodd, Nac ofna ŵr annwyl,
13, 14 heddwch it, ymgyssura, ac ymnertha: a phan lefarodd
2 Cor. 4, 7 efe wrthif yr ymgyssurais ac y dywedais, Llefared fy
Sal. 94, 19 Arglwydd o herwydd cyssuraist fi.
1 Cor. 12, 20 [n] Ac efe a ddywedodd, A wyddosti pa ham y
9 deuthum attat? canys weithian y dychwelaf i ryfela
m Mat 18 â thywysog Persia: ac â mi yn myned allan, wele
25 dywysog Groec yn dyfod i mewn.
n Esa. 57, 21 [o] Eithr mynegaf it yr hyn a ysspyswyd it mewn
30 scrifen wirionedd, ac nid [oes] un yn ymegnio gyd â
Act 12, 23 mi yn hyn onid Michael eich tywysog.
o Sal 139,
16

## PEN. XI.

*Prophwydoliaeth am amryw frenhiniaethau.*

p Diar. 8, A C [p] yn y flwyddyn gyntaf i Ddarius Medus y sefais i,
15 yn gyssur ac yn nerth iddo ef.
q Diar. 14 2 [q] Ac yr awr hon gwirionedd a fynegaf i ti, wele
16 tri brenin etto a safant o fewn Persia, a'r pedwerydd
Sal. 73, 6 a fydd cyfoethogach nâ hwynt oll: ac fel yr ymgad-
1 Ier. 1, 1

arnhao efe yn ei gyfoeth, y cyfyd efe bawb yn erbyn
teyrnas Groec.
3 [r] A brenin cadarn a gyfyd, ac a lywodraetha yn r Esa. 7, 6
gadarn, ac a wna fel y mynno.
4 [s] A phan safo efe, dryllir ei deyrnas, a rhennir hi s Diar. 11
tu â phedwar gwynt y nefoedd, ond nid iw hiliogaeth 14
ef, nac fel y llywodraeth yr hon a lywodraethodd efe: Iob 20, 5,
o herwydd ei frenhiniaeth ef a ddiwreiddir, ac [a 7
roddir] i eraill heblaw y rhai hyn. Iob 27, 13,
16
5 [t] Yna y cryf ha brenin y deau, ac [un] oi dywysog- Preg. 4, 8
ion, ie efe a gryf ha, ac a lywodraetha uwch ei law ef, t Luc 16, 8
llywodraeth fawr, [fydd] ei lywodraeth ef. Pen. 8, 7,
8
Iob 12, 13
6 Ac yn niwedd blynyddoedd yr ymgymharant hwy,
yna merch brenin y deau a ddaw at frenin y gogledd
i wneuthur cymmod, ond ni cheidw hi nerth braich,
ac ni saif ei fraich yntef: canys [i farwolaeth] y rhoddir
hi a'r rhai ai dugasant hi, ei mab hefyd, ai chymmorth-
wr yn yr amseroedd [hynny.]
7 [u] Eithr yn ei le ef y saif [un] o fonnion ei gwraidd u Sal. 5, 6
hi, ac a ddaw â llû, ac a aiff i gastell brenin y gogledd, a 55. 23
ac a wna yn eu herbyn hwy [yr hyn a fynno,] ac a 2 Cron. 24,
orchfyga, 23, 24
Act 28 4
8 [v] Ac a ddwg hefyd mewn caethiwed i'r Aipht eu v 1 Sam. 5,
duwiau hwynt, ai tywysogion ai dodrefn annwyl o 1
arian, ac aur, ac efe a beru flynyddoedd [yn drech] nâ Esa. 37, 19
brenin y gogledd. a 46 1
Sal. 11, 7
Iob 29, 14
17
9 A brenin y deau a ddaw iw deyrnas, ac a ddych-
wel iw dir ei hun.
10 Ai feibion a ymosodant, ac a gasclant gymanfa o
luoedd mawrion, a chan ddyfod y daw [un,] ac a lifeiria,
ac a aiff trosodd, yna efe a ddychwel, ac a ymesyd
wrth ei amddeffynfa yntef.
11 [w] Yna y cyffrû brenin y deau, ac a aiff allan ac a w 2 Cron.
ymladd âg ef [sef] â brenin y gogledd, ac efe a gyfyd 20, 25
dyrfa fawr, a'r dyrfa a roddir iw law ef. Barn. 4,
15
12 [x] Pan gymmerir ymmaith y dyrfa y dercha efe ei x Deut. 32
galon, ond pe cwympe efe fyrddiwn, er hynny ni 15
bydde efe [ddim] cryfach. Dan. 8, 25
13 [y] Canys brenin y gogledd a ddychwel, ac a gyfyd y Dat. 9,
gymanfa fwy nâ 'r gyntaf, ac ym mhen ennyd o flyn- 14, 15
yddoedd gan ddyfod y daw â llû mawr, ac â chyfoeth 2 Cron. 35
mawr. 21
14 Ac yn yr amseroedd hynny llawer a safant yn er-
byn brenin y deau, a chyndyn feibion dy bobl a ym-
dderchafant i siccrhau 'r weledigaeth, ond hwy a
syrthiant.
15 [z] Yna y daw brenin y gogledd, ac a fwrw glawdd, z Ier. 5, 19
ac a ennill y dinasoedd caeroc, ond breichiau y deau Sal. 147,
ni safant, na 'r bobl a ddewiso efe: ac ni bydd nerth i 10
barhau.
16 [a] A'r hwn a ddaw atto ef, a wna fel y mynno, ac a 2 Cron.
ni [bydd] a safo oi flaen, yna y saif yn y wlâd hyfryd, 25, 10
a thrwy ei law ef y derfydd hi.
17 [b] Ac efe a esyd ei wyneb ar fyned a chryfder ei b Esa. 53
holl deyrnas, a rhai iniawn gyd âg ef, felly y gwnaiff: Neh. 9, 9
ac efe a rydd iddo ferch wreigaidd, gan ei llygru hi,
ond nid erys hi, ac ni bydd ar ei du ef.
18 [c] Yna y try efe ei wyneb at ynysoedd, ac a ennill c 2 Tim. 3
lawer, a phennaeth a luddia ei warth ef atto, [ac] yn ddi- 3.
warth ai dettry arno ef. Mat. 7, 2
19 [d] Ac efe a dry ei wyneb at gestyll ei dir, ac a d Sal. 52, 7
dramgwydda, ac a syrth, ac ni's ceir ef.
20 Ac yn ei le ef y saif un a gyfyd drethau yng-og-
oniant y deyrnas, ac o fewn ychydig ddyddiau y des-
truwir ef: a [hynny] nid mewn dig, nac mewn rhyfel. e Sal. 15, 4
21 [e] Ac yn ei le yntef y saif [un] dirmygus, ac ni Luc 16, 15
Sal. 15, 2

roddant iddo ef ogoniant y deyrnas: eithr efe a ddaw
yn llonydd, ac a ymeifl yn y frenhiniaeth trwy wen-
iaeth.
22 f A llifeiriant a lifa tros y breichiau oi flaen ef,
f Iob12.6 Mica 7,5 yna y dryllir hwynt, a thywysog y cyfammod hefyd.
g Sal. 37, 21 23 g Ac wedi ym gyfeilliach ag ef, y gwna efe dwyll,
h Barn.9, 4 ac y daw efe i fynu, ac a orchfyga ag ychydig bobl.
24 h I dalaith lonydd a bras y daw efe, ac a wna yr
Sal, 26, 4 Diar.6,14 hyn ni wnaeth ei dadau ef, na thadau ei dadau ef: ys-
clyfaeth, ac yspail, a golud a ddospartha efe iddynt,
ac ar gestyll y bwriada efe fwriadau, a [hynny] tros
amser.
i 2 Cron. 24, 24 25 i Ac efe a gyfyd ei nerth, ai galon yn erbyn bren-
in y deau â llu mawr, a brenin y deau a ymesyd, i
ryfel â llu mawr, a chryf iawn: ond ni saif efe, canys
bwriadant fwriadau yn ei erbyn ef.
j 1 Sam.29 4 26 j Y rhai a fwyttânt ran oi fwyd ef, ai briwant ef,
ai lu ef a lifeiria, a lladdedigion lawer a syrthiant.
k Sal.12,2 a 62, 9 27 k Calon y ddau frenhin hyn [fydd] ar wneuthur
Diar. 19, 21 drwg, ac ar un bwrdd y traethant gelwydd, ond ni
thyccia: canys bydd etto ddiwedd ar amser nodedic.
Esa.57,21 28 Ac efe a ddychwel iw dir ei hun â chyfoeth mawr,
ai galon [fydd] yn erbyn y cyfammod sanctaidd: felly
l Act. 1,7 y gwna efe, ac y dychwel iw wlâd.
Iob 20, 6 29 l Ar yr amser nodedic y dychwel, ac y daw i'r
deau, ac ni bydd y waith olaf fel y waith gyntaf.
m Diar19 19 30 m Canys llongau Chittim a ddeuant yn ei erbyn ef,
Neh 6,16 yna 'r ymofidia, ac y dychwel, ac y digia wrth y cyfam-
mod sanctaidd: felly y gwna efe. ac y dychwel, ac efe
a ymgynghora a'r rhai a adawant y cyfammod sanct-
aidd.
31 Breichiau hefyd a safant ar ei du ef, ac a halogant
gyssegr yr amddeffynfa, ac a ddygant ymmaith y gwast-
adol [aberth,] ac a roddant [yno] ffieidd-dra anrheith-
iol.
n Iob6,67 32 n Ac efe a wna i droseddwyr cyfammod bechu
trwy weniaith: eithr y bobl a adwaenant eu Duw a
o Mat. 13, 52 orchfygant, ac a ffynnant.
Heb. 11, 25 33 o A'r rhai synhwyrol ym mysc y bobl a ddyscant
Mat. 20, 29 lawer, etto syrthiant trwy 'r cleddyf, ac mewn tân,
mewn caethiwed, ac mewn yspail ddyddiau lawer.
Dat. 2,10 34 p A phan syrthiant, â chymmorth bychan y cym-
p Dat. 12, 15 horthir hwynt, eithr llawer a lynant wrthynt hwy yn
2 Tim. 3, 15 wenhieithgar.
q 1 Pedr 1 35 q A'r rhai deallgar a syrthiant iw puro, ac iw
5, 7 glanhau, ac iw cannu hyd ddiwedd yr amser. canys ar
amser nodedic etto [y bydd diwedd.]
r 2 Thes.2 4 36 r A'r brenin a wna wrth ei ewyllys ei hun, ac a
ymddercha, ac a ymfawryga yn erbyn pob duw, ïe yn
erbyn Duw yr duwiau y traetha efe bethau rhyfedd,
ac a lwydda hyd ddiwedd digter, am ei ordeinio y
gwnaed [hyn.]
1 Tim.4, 37 s Nid ystyr efe am Dduw ei dadau, nac am serch
Thes. 2, ar wragedd, ie nid ystyr am un duw: canys goruwch
pawb yr ymddercha efe.
Dat. 16, 3 38 t Ac efe a anrhydedda y duw Mauzzim yn ei le
13, 12 ef, ïe duw yr hwn nid adwaene ei dadau a ogonedda
efe ag aur, ac ag arian, ac â meini gwerthfawr, ac
ag annwyl bethau.
29 u Fel hyn y gwna efe yng-hestyll Mauzzim gyd â
Dat. 13, 6 duw dieithr, efe a chwanega ogoniant y rhai a gyd-
nabyddo efe, ac a wna iddynt lywodraethu ar lawer,
ac a ranna y tir am werth.
Dat. 6, a 17,16 Thes. 2, 40 v Ac yn niwedd amser yr ymgornia brenin y deau
ag ef, a brenin y gogledd a chwyth fel corwynt yn ei
erbyn ef, â cherbydau, ac â marchogion, ac â llongau
lawer, ac efe a ddaw i'r tiroedd, ac a lifa ac a dram-
mwya
41 Ac efe a ddaw ir hardd-wlad, a llawer a syrthi-
ant, a'r rhai hyn a ddiangant oi law ef, Edom, a Moab,
a phennaethiaid meibion Ammon.
42 w A phan estynno efe ei law ar wledydd, gwlad yr w Dat.17,
Aipht ni bydd ddiangol. 6
43 x Eithr efe a lywodraetha ar dryssorau aur, ac ar- x 1 Tim.6
ian, ac ar holl annwyl bethau yr Aipht: y Lybiaid 9
hefyd, a'r Ethiopiaid [fyddant] gyd ag ef. y Dat.16,
44 y Eithr chwedlau o'r dwyrain, ac o'r gogledd ai 14
dychrynnant ef, ac efe a aiff allan mewn llid mawr i Rhuf 11,
ddifetha, ac i ddifrodi llawer. 26
45 z Ac efe a esyd babellau ei lŷs rhwng y moroedd, z Dat 19,
ar yr hardd fynydd sanctaidd, ac a ddaw hyd ei derfyn, 20
ac ni [bydd] cynnorthwywr iddo. Iob 20, 5 Dat 18,10

## PEN. XII. Sal 50,22

*Cysur y ffyddloniaid o ail cyfodiad y meirw. 8 Mor dywyll yw prophwydoliaeth Daniel.*

AC a Yn yr amser hwnnw y saif Michael y tywysog a Ezec.38
mawr, yr hwn sydd yn sefyll tros feibion dy bobl: 8
yna y bydd amser blinder, y cyfryw ni bu er pan yw Rhuf 11, 26
cenhedlaeth hyd yr amser hwnnw: ac yn yr amser Phil 4,.3
hwnnw y diangc dy holl bobl y rhai a gaffer yn scri-
fennedic yn y llyfr. b Ezec 37
2 b A llawer o'r rhai sydd yn cyscu [mewn] daiar 12
lychlyd a ddeffroant, rhai i fywyd tragywyddol, a rhai Ioan 5,29
i warth a dirmyg tragywyddol. Esa 66,5, 24
3 c A'r athrawon a ddiscleiriant fel discleirdeb y c Iago 5,
ffurfafen, a'r rhai a droant lawer i gyfiawnder [fyddant] 19
fel sêr byth yn dragywydd,
4 d Tithe Daniel caea di y geiriau, a seilia y llyfr hyd d Dat10.4
amser y diwedd, llawer a gynniwerant, ac amlheuir Mat11.12
gwybodaeth. Esa29,18
5 Yna myfi Daniel a edrychais, ac wele ddau eraill
yn sefyll, un o'r tu ymma ar fin yr afon, ac un [arall]
o'r tu arall ar lann yr afon. e Eph3,10
6 e Ac [un] a ddywedodd wrth yr hwn a wiscasid â Sal 29,10
lliain, yr hwn [ydoedd] ar ddyfroedd yr afon, Hyd pa
bryd [yr oedir] diwedd y rhyfeddodau?
7 f Clywais hefyd y gŵr a wiscasid â lliain, yr hwn f Dat 10,
[ydoedd] oddi ar ddwfr yr afon, pan dderchafoedd efe 5 Deut 32,
ei law ddehau, ai asswy tua 'r nefoedd, ac y tyngodd 36
i'r hwn sydd yn byw yn dragywydd, mai wedi tymmor
tymmorau, a hanner, ac wedi darfod gwascaru nerth
y bobl sanctaidd y darfydde hyn oll.
8 Yna y clywais, ond ni ddeallais, eithr dywedais,
O fy Arglwydd beth [fydd] diwedd hyn?
9 g Ac efe a ddywedodd, Dos Daniel, caewyd, a g Rhuf 12
seliwyd y geiriau hyn hyd amser y diwedd. 3 h Dat 22
10 h Llawer a ymlanhant, ac a ymgannant, ac a ym- 11
burant: eithr y rhai drygionus a wnant ddrygioni, ïe Ioan 5 19
y rhai drygionus oll ni ddeallant: ond y rhai synnwyrol
a ddeallent.
11 i Ac o'r amser y symmudir y gwastadol [aberth,] i 1 Pedr.3
ac y gosodir ffieidd-dra anrheithiol, [y bydd] mil, dau 8
cant, a dêc a phedwar ugain o ddyddiau. j Rhuf 11
12 Gwyn ei fyd a ddisgwilio, ac a gyrhaeddo hyd 11 12
fil, try-chant, a phymthec a'r hugain o ddyddiau.
13 k Dos dithe hyd y diwedd, canys gorphywsi, a k Esa57 2
sefi ar dy ran yn niwedd y dyddiau. 1 Cor 15 25

**TERFYN LLYFR Y PROPHWYD DANIEL.**

# LLYFR PROPHWYDOLIAETH

# OSEA.

PEN. I.

*Yr amser y Prophwydodd Osea. 2 Duw trwy gyffelybiaeth o wraig odinebus ai phlant yn ceryddu gau dduwiaeth y bobl. 10 Galwedigaeth y cenhedloedd. 11 Addewid o un pen, sef Crist.*

a 2 Pedr 1 GAIR a yr Arglwydd, yr hwn a ddaeth at Osea,
21 fab Beeri yn nyddiau Osea, Iotham, Ahas, ac
2 Cor 4 4 Hezecia brenhinoedd Iuda, ac yn nyddiau Ieroboam
7 a 5 20 b 2 Cor 13 fab Ioas, brenin Israel.
3 Heb 1 3 2 b Pan ddechreuodd yr Arglwydd lefaru trwy Osea,
2 Thes 2 yna yr Arglwydd a ddywedodd wrth Osea, Dos, cym-
10 mer it wraig odinebus a phlant [o] odineb: o herwydd
y mae y wlâd gan butteinio yn putteinio oddi ar ol yr
Arglwydd.
3 Ac efe a aeth, ac a gymmerodd Gomer ferch Deb-
c 2 Bren 9 laim, a hi a feichiogodd ac a ymddug iddo ef fab.
24 4 c A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho ef, Galw ei
a 10 8 11 enw ef Iezrahel: canys ar fyrder yr ymwelaf a gwaed
17 Iezrahel ar dŷ Iehu, ac y gwnaf i frenhiniaeth tŷ Isr-
ael ddarfod.
5 A'r dydd hwnnw y torraf fwa Israel, yng-lynn
d Rhuf 9 Iezrahel.
25 6 d A hi a feichiogodd eil-waith, ac a escorodd ar
ferch, a dywedodd [yr Arglwydd] wrtho, Galw ei
henw hi Loruchamah, am na chwanegaf drugarhau
wrth dŷ Israel, eithr gan ddwyn dygaf hwynt ymmaith.
e Zec 4 6 7 e Ac etto trugarhaf wrth dŷ Iuda, a chadwaf
2 Bren 19, 29 hwynt drwy yr Arglwydd eu Duw, nid â bwa, nac â
chleddyf, nac â rhyfel, [nac] â meirch, nac â marchog-
ion y cadwaf hwynt.
f Esa 66 8 f A hi a ddiddyfnodd Loruchamah, ac a feichiogodd
11 ac a escorodd ar fab.
9 Ac efe a ddywedodd, Galw ei enw Loammi, am
nad ydych bobl i mi, am hynny ni byddaf i chwithau
[yn Dduw.]
g Rhuf 9 10 g Etto bydd nifer meibion Israel fel tywod y mor,
24 y rhai ni's mesurir, ac ni's cyfrifir: a bydd yn y man
Gal 3 28 lle y dywedwyd wrthynt, Nid pobl i mi [ydych]
Ioan 1 12 chwi, y dywedir wrthynt, Meibion i Dduw byw [yd-
ych.]
h Rhuf 11 11 h Yna meibion Iuda, a meibion Israel a gesclir
12 15 yng-hyd, ac hwy a osodant iddynt un Pen: a deuant
i fynu o'r tir: canys mawr [fydd] dydd Iezrahel.

PEN. II.

*Denu y bobl i edifeirwch y mae efe, 5 Gan ddangos eu gau-dduwiaeth hwynt, ai cospedigaeth.*

i Sal 126 3 DYWEDWCH i wrth eich brodyr, O fy mhobl: wrth
ei chchwiorydd, O yr hon y trugarhawyd wrthi.
j 1 Tim 5 20 2 j Ymddadleuwch a'ch mam, ie ymddadleuwch,
Mat. 23 23 nad fyng-wraig yw hi, ac nad ei gwr hi [ydwyf] finne:
fel y bwrio hi ymaith ei phutteindra oi golwg, ai go-
dineb oddi rhwng ei bronnau:
k Ezec 16 4 3 k Rhag i mi ei diosg hi yn noeth-lymmun, ai gosod
Amos 8 11 fel y dydd y ganed hi, ai rhoi fel anialwch, ai gosod
fel tir diffaeth, ai lladd â syched.
l Ioan 8 41 4 l Ac ar ei phlant ni chymmeraf drugaredd: am eu
bod yn blant godineb.

5 Canys eu mam hwynt a butteiniodd, a gwaradwy-
ddwyd yr hon ai hymddug hwynt: canys dywedodd
hi, Af ar ol fyng-hariadau, y rhai sydd yn rhoi fy mara,
a'm dwfr, fyng-wlân, a'm llîn, fy olew, a'm diodydd.
6 m Am hynny wele, mi a gaeaf i fynu dy ffordd di m Luc 15 20
â drain, ac a furiaf fûr fel na chaffo hi ei llwybrau. Galar 3 22
7 n Yna hi a ddilyn ei chariadau, ac nis goddiwes n Ezec 16 37
hwynt, a hi ai cais hwynt, ac nis caiff: ac hi a ddywed, 1 Tim 4 8
Af, a dychwelaf at fyng-ŵr cyntaf, gwell oedd arnafi Diar 5 11
yna, nag yr awrhon.
8 o Ni wydde hi mai myfi a roddais iddi'r ŷd, a'r o 2 Cor 4 4
gwin, a'r olew, ac a amlheais iddi arian, ac aur, [y 2 Pedr 3 5
rhai] a weithiasant hwy i Baal. Esa 46 6
9 Am hynny dychwelaf, a chymmeraf fy ŷd yn ei
amser, a'm gwin yn ei dymmor: a thynnaf fyng-wlan,
a'm llin o guddio ei gwarth hi,
10 p Ac mi a ddatcuddiaf bellach ei brynti hi, yng- p Ezec 16
olwg ei chariadau, ac nis gwared neb hi o'm llaw. 37 a 23 29
11 Gwnaf hefyd i'w holl orfoledd hi, ei gwyliau, ei
newydd-leuadau, ai Sabbothau, ai holl uchel-wyliau
beidio.
12 q A mi a anrheithiaf ei gwin-wydd hi, ai ffigus- q Luc 13 7
wydd, am y rhai y dywedodd, Dymma fyng-wobrwy-
on, y rhai a roddodd fyng-hariadau i mi: ac mi ai
gosodaf yn goedwic. a bwystfilod y maes ai difa hwynt
13 Ymwelaf â hi am ddyddiau Baalim [yn] y rhai y
llosgodd hi arogl-darth iddynt, ac y gwiscodd ei
chlust-fodrwyau, ai thlyssau, ac yr aeth ar ol ei char-
iadau, ac yr anghofiodd fi, medd yr Arglwydd.
14 r Am hynny wele, mi ai denaf hi, ac ai dygaf i'r
anialwch, ac a ddywedaf wrth fodd ei chalon. r Ier 16 14 Mica 2 12
15 Ac mi a roddaf iddi ei gwin-llannoedd o'r fan
honno, a dyffryn Achor yn ddrws gobaith: yno y cân
hi, fel yn nyddiau ei hieuengctid, ac megis [yn] y
dydd y daeth hi i fynu o wlad yr Aipht.
16 s Y dydd hwnnw medd yr Arglwydd, i'm gelwi s Dat 21 2
fyng-ŵr, ac ni'm gelwi mwyach Baali. Rhuf 8 5
17 t Bwriaf henwau Baalim allan oi genau hi: nis Luc 1 74 t Ex 23 13
coffeir mwyach wrth eu henwau. Esa 2 4
18 A'r dydd hwnnw y gwnaf ammod drostynt ag
anifeiliaid y maes, ac ag ehediaid y nefoedd, ag ym-
lusciaid y ddaiar: a'r bwa, a'r cleddyf, a'r rhyfel a
dorraf o'r wlad: a gwnaf iddynt gyscu yn ddiogel.
19 u A mi a'th ddyweddiaf â mi fy hun yn dragyw- u Eph 5 25
ydd, ie dyweddiaf di â mi fy hun mewn cyfiawnder, Rhuf 5 20
ac mewn barn, mewn tirionder, ac mewn trugaredd. Sal 85 10
20 v A dyweddiaf di â mi mewn ffyddlondeb, a rhaid v Rhuf 3
it adnabod yr Arglwydd. 38
21 w A'r dydd hwnnw y gwrandawaf medd yr Argl- Ioan 17 3 2 Tim 1 12
wydd, ar y nefoedd y gwrandawaf, a hwythau a wran- w Rhuf 8
dawant ar y ddaiar. 12
22 x A'r ddaiar a wrendu ar yr ŷd, a'r gwin, a'r olew: x Rhuf 9
a hwythau a wrandawant ar Iezrahel. 24
23 y A mi ai hauaf hi i'm fy hun yn y tir, ac a drug- y Ier 31 33
arhâf wrth yr hon ni chawse drugaredd, ac a ddywed- Rhuf 9 24
af wrth yr hwn nid oedd bobl i'm, Fy mhobl maufi
wyt ti, ac yntef a ddywed, O fy Nuw.

## PEN. III.

*Gwrthodiad yr Iuddewon am eu gau-dduwiaeth. 5 Eu dychweliad at yr Arglwydd.*

YNA z yr Arglwydd a ddywedodd wrthif, Dos
z2Tim 4 2 etto câr wraig hoff gan ei chyfaill, a hithe wedi
Ier 3 20 torri ei phriodas, yn ôl cariad yr Arglwydd ar feibion
Dat 18 13 Israel, a hwythau yn edrych ar ol duwiau dieithr, ac
yn hoffi y costrelau gwin.
a1Sam 18 2 a A mi ai prynais hi er pymthec [dryll o] arian, er
25 homer, a hanner homer o haidd.
Zec11 12 3 b A dywedais wrthi hi, Aros gyda mi lawer o
b Ioan 4 22 ddyddiau, na phutteinia, ac na fydd i ŵr [arall,] a
minnef hefyd [a fyddaf] felly i tithe.
c Rhuf 11 25 4 c Canys llawer o ddyddiau'r erys meibion Israel
heb frenin, ac heb dywysog, ac heb aberth, ac heb
ddelw, ac heb ephod na Theraphim.
5 d Wedi hynny y try meibion Israel, ac y ceisiant
d Ezec 34 23 yr Arglwydd eu Duw, a Dafydd eu brenin: ac yn y
Mica7 17 dyddiau diweddaf y parchant yr Arglwydd ai ddaioni.

## PEN. IV.

*Drygioni pobl, ac offeiriaid Israel.*

MEIBION e Israel gwrandewch air yr Arglwydd,
e Amos 7 4 canys [y mae] cŵyn rhwng yr Arglwydd a thri-
Mica 6,2 golion y wlad, am nad [oes] gwirionedd, na thrugaredd,
na gwybodaeth o Dduw yn y wlad.
2 [Onid] tyngu, dywedyd celwydd, lladd celain,
lladratta, a thorri priodas a orchfygasant: a gwaed a
gyffwrdd â gwaed.
f Amos 5 16 3 f Am hynny galara y wlâd, ac y llesceir yr hyn oll
Nah 1 4 a'r y fydd yn trigo ynddi o fwyst-filod y maes, ac o
ehediaid y nefoedd: pysc y mor hefyd a ddarfyddant.
g Gen 6 3 4 g Er hynny nac ymrysoned, ac na cherydded neb
Mat 7 6 ei gilydd: canys dy bobl [sydd] megis yn ymryson
Mica2 11 a'r offeiriaid.
Rhuf 2 8
h1Thes 5 3 5 h Am hynny ti a syrthi y dydd, a'r prophwyd hef-
Mica 3 6 yd a syrth gyd a thi y nos: a mi a ddifethaf dy fam.
i Diar 21 18 6 i Fy mhobl a ddifethir o eisiau gwybodaeth, a'm it
ddiystyru gwybodaeth, minne a'th ddiystyraf dithe,
2Cor 4 1 fel na byddech offeiriad i mi: ac [am] it anghofio cyf-
Sal 81 11 Zec11 17 raith dy Dduw, minne a anghofiaf dy blant dithe hef-
1Sam2 30 2 Bren 2 27 yd.
7 Fel yr amlhausant, felly y pechasant i'm herbyn:
[am hynny] eu gogoniant a newidiaf i warth.
8 Bwytta y maent bechod fy mhobl, ai hannog iw
badwiredd hwynt:
9 A bydd yr un fath bobl ac offeiriad, ac ymwelaf ai
ffyrdd ef yn ei erbyn: a thalaf iddo ei weithredoedd.
k Diar 13 25 10 k Bwyttant, ac ni's diwellir, putteiniant ac nid
amlhant, am iddynt beidio ag ystyried [cyfraith] yr
1 Pedr 2 20 Arglwydd.
11 Godineb, a gwin, a gwin newydd a ddwg y galon
ymmaith.
l Thes 2 9 12 l Fy mhobl a ofynnant gyngor iw cyffion, ai ffon
Dat 17 2 a ddengys iddynt, o herwydd i yspryd godineb eu
5 cyfeiliorni [hwynt:] a phutteiniasant oddi wrth eu
Duw.
m Esa 57 13 m Ar bennau y mynyddodd yr aberthant, ac ar y
Num 25 bryniau y lloscant arogl-darth, tann y dderwen, a'r
3 boplysen, a'r llwyfen: am fod yn dda eu cyscod, am
hynny y putteinia eich merched chwi, a'ch rhiannod
a dorrant briodas,
n Hebl2 9 14 n Ac nid ymwelaf a'ch merched am butteinio,
Diar 2 16 na'ch rhianod am dorri priodas: am fod y rhai hyn
yn ymddidoli gyd â phutteiniaid, ac aberthasant gyd
a merched da, a'r bobl ni ddeallant a dramgwyddant.
o Eph5 11 15 o Er i ti Israel butteinio, na phechad Iuda, nac
ewch i Gilgal, na ddringwch i Bethafen: ac na thyng-
wch, Byw yw yr Arglwydd.
16 Fel anner anhywaith yr anhyweithiodd Israel, yr
Arglwydd yr awr hon ai portha hwynt fel oen mewn
ehangder.
17 p Ephraim a ymgefeilliodd ag eulynnod: gâd iddo. p Mat 15 14
18 q Drewi y mae eu meddwdod, gan butteinio y put-
teiniasant, hoffant [ddywedyd,] Moeswch: gwarthus q Esa1 22 Mica 7 3
yw eu llywodraeth-wyr.
19 Y gwynt a rwymodd [y genhedlaeth] hon yn ei
adenydd, a bydd arnynt gywilydd oi haberthau.

## PEN. V.

*Beiau offeiriaid, swyddogion, a phobl Israel: ai cospedigeth.*

CLYWCH hyn chwi offeiriaid, gwrandewch tŷ
Israel, a thŷ y brenin rhoddwch glust, [y mae]
barn i'ch erbyn, am eich bod yn fagl ar Mizpah ac
yn rhwyd wedi ei lledu ar Thabor.
2 r Pan bwysasant i ladd, aethant i'r glynnoedd: r Esa 29 15
myfi [a roddaf] gerydd iddynt oll.
3 s Myfi a adwen Ephraim, ac nid yw Israel gudd- s Dat 3 15
iedic oddi wrthif: canys ti Ephraim bellach a but- Rhuf 1 29 30
teiniaist, ac Israel a halogwyd.
4 t Ni roddant eu meddwl ar droi at eu Duw am [fod] t Sal 36 2
yspryd godineb oi mewn, ac nid adnabuant yr Ar-
glwydd.
5 u Balchder Israel a ddwg dystiolaeth yn ei wyneb: u 1Tim 6 4
Israel ac Ephraim a syrthiant yn eu hanwiredd: Iuda
hefyd a syrth gyd â hwynt.
6 v Ai defaid, ac ai gwarthec y deuant i geisio yr Ar- v 1Sam28 6
glwydd, ond nis cafant ef: ciliodd efe oddi wrthynt. Esa 1 15
7 w Yn erbyn yr Arglwydd y pechasant, am iddynt
genhedlu plant dieithr: mis bellach ai difa hwynt yng- w Mal 2 11
hyd ai rhannau. Zec 11 8
8 x Cenwch y corn yn Gibea, yr ud-corn yn Ramah,
udcenwch [yn] Bethafen: ar dy ol di Beniamin [y x Esa 58 1
cenir.] Act 17 15
9 y Ephraim fydd yn anrhaith yn-nydd y cerydd, y Ezec 22 20
perais wybod gwirionedd ym mysc llwythau Israel. Mal 4 6
10 Bu dywysogion Iuda fel symud-wŷr terfyn, [am Zec 1 6
hynny] y tywalldaf arnynt fy llid fel dwfr.
11 Gorthrymmwyd Ephraim, drylliwyd mewn barn:
am ewyllysio o honaw ef fyned ar ôl y gorchymyn.
12 z A mi a fyddaf fel gwyfyn i Ephraim, ac fel pyd- z Iob 13 28
redd i dŷ Iuda. Esa 50 9
13 a Pan welodd Ephraim ei lescedd, ac Iuda ei arch- Diar 12 4 a Ier30 13
oll: aeth Ephraim i Assyria ac a hebryngodd at frenin 2Bren 15 19
Iareb: etto ni alle efe eich meddiginiaethu, ac ni iach-
ae efe eich archoll.
14 b Canys mi a fyddaf i Ephraim fel llew, ac i dŷ b Iago 4 9
Iuda fel cenaw llew: myfi a sclyfaethaf ac a âf ym- Lef 26 40 41
maith, dygaf ymmaith, ac ni [bydd] achubudd. Ier 29 12
15 Af a dychwelaf i'm lle hyd oni welant eu bai, a Galar 3 44
cheisio fy wyneb: pan fyddo adfyd iddynt i'm boreu-
geisiant.

## PEN. VI.

*Y bobl yn ymchwelyd at yr Arglwydd rhag gofid. 9 Drygioni 'r offeiriaid.*

DEUWCH, a dychwelwn at yr Arglwydd, canys
efe a sclyfaethodd, ac efe a'n hiachâ ni, efe a dar-
awodd, ac a'n meddiginiaetha ni.
2 c Efe a'n bywhâ ni ar ôl dau ddydd, a'r trydydd c 1Cor 15 4
dydd y cyfyd ni i fynu: a byddwn fyw ger ei fron ef. Esa26 20
3 d Yna yr adnabyddwn, [ac] y dilynwn adnabod d Mat 13 12
Duw: ei fynediad allan a ddarperir fel y wawr ddydd, Diar4 18
ac efe a ddaw fel cafod attom, fel y diweddar-law am- 2Cor3 18
serol i'r ddaiar.

e Luc 19 4 [e] Beth a wnaf i ti Ephraim? beth a wnaf i ti Iuda,
42 Sal 78 34 eich mwynder sydd yn ymado fel cwmwl y boreu, ac
fel gwlith boreuol.
5 Am hynny y difethais trwy y prophwydi, lleddais
hwynt â geiriau fyng-enau: a goleuni dy farnedigaeth-
au a aeth allan.
f Mat 9 13 6 [f] Canys ewyllysiais drugaredd, ac nid aberth, a
Ioan 17 3 gwybodaeth o Dduw yn fwy na phoeth offrymmau.
g Iob 31 33 7 [g] A'r rhai hyn fel Adda a dorrasant y cyfammod:
Ezra 9 11 yna y buant anffyddlon i mi.
8 Dinas gweithred-wŷr anwiredd [yw] Gilead, wedi
ei halogi gan waed.
9 Cyfeillach o offeiriaid a laddant [ar] y ffordd tua
Sichem megis llu [o rai] yn disgwil un: canys gwnant
scelerder.
10 Gwelais yn nhŷ Israel halogedigaeth: yno [trwy]
odineb Ephraim yr halogwyd Israel.
h Dat 14 15 11 [h] Gosododd hefyd gynhauaf i tithe Iuda, a mi yn
Seph 3 13 dychwelyd caethiwed fy mhobl.

PEN. VII.

1 *Drygioni y bobl.* 12 *Ai cospedigaeth.*

i Ier 51 9 A'M fi'n iachau Israel, datcuddiwyd anwiredd Eph-
Ioan 10 1 10 raim, a drygioni Samaria, canys gwnant ffalsder:
y lleidr a ddaw i mewn, a'r yspeiludd a anrheithia
oddi allan.
2 Nid ydynt yn meddwl yn eu calonnau, fy mod i
yn cofio eu holl ddrygioni hwynt: weithian eu gweith-
redoedd eu hun ai hamgylchynasant, [ac] y maent ger
fy mron.
3 Llawenhant y brenin ai drygioni, a'r tywysogion
ai celwyddau.
k Rhuf 1 21 4 [k] Pawb o honynt sydd yn torri priodas, [ac] fel
Luc 12 1 ffwrn wedi ei phoethi o'r pobydd: [er pan] beidio a
chodi [ac] a thylino y toes hyd oni suro efe.
5 Diwrnod ein brenin [yw] hwn, y tywysogion ai
clwyfasant ef a'r gostrel win: estynnodd ei law i wat-
war-wyr.
l Sal 10 8 6 [l] Fel yr oeddynt yn cynllwyn, darparasant eu calon
Mica 2 1 fel ffwrn, y pobydd a gyscodd ar hyd y nos, [a'r] bor-
eu y lloscodd fel fflamm dân.
m Gen 19 7 [m] Pawb o honynt a wresogant fel y ffwrn, ac a
4 yssant eu barn-wyr: eu holl frenhinoedd a gwymp-
2 Bren 15 14 27 asant, heb [un] o honynt yn galw arnafi.
Ezec 22 30 8 Ephraim a ymgymmyscodd a'r bobloedd, Eph-
n 2 Bren raim sydd [fel] teisen heb ei throi.
15 19 9 [n] Estroniaid a fwytasant ei olud ef, ac ni's gŵyr efe:
Esa 9 13 gwascarodd pen-wynni ar hyd-ddo ef ac ni's gwybu
efe.
o Diar 23 10 [o] Mae balchter Israel yn testiolaethu yn ei wyn-
35 eb: er hynn oll ni throant at yr Arglwydd eu Duw,
ac nis ceisiant ef.
p Ier 2 13 11 [p] Ephraim [sydd] fel colommen ynfyd heb galon,
2 Bren 17 [weithe] y galwant ar yr Aipht [weithie] yr ant i As-
4 syria.
q Ezec 12 13 12 Pan elont, tanaf fy rhwyd drostynt. a thynnaf
r 2 Cron 28 hwynt i lawr fel ehediaid y nefoedd: cospaf hwynt,
18 fel y clybu eu cynnulleidfa hwynt.
13 Gwae hwynt, canys ffoasant oddi wrthif, [daw]
dinistr arnynt, o herwydd gwnaethant gamwedd i'm
herbyn: myfi ai gwaredais hwynt, a hwythau a ddy-
wedasant gelwydd arnaf.
s Esa 29 13 14 [s] Ni alwasant arnaf ai calon, pan udasant ar eu
Esa 57 7 gwelâu: am ŷd, a melus-win yr ymgasclasant, [yna]
ciliasant oddi wrthif.
s 2 Bren 15 [s] Mi a rwymais, [ac] a nerthais eu breichiau hwynt:
13 20 Sal 109 4 etto meddyliasant ddrwg i mi.
16 [t] Dychwelasant nid at y Goruchaf, ydynt fel bwa t Sal 78 57
twyllodrus, eu tywysogion a syrthiasant ar y cleddyf
am ddirmyg eu tafod: dymma eu gwatwargerdd hwynt
yng-wlad yr Aipht.

PEN. VIII.

*Dinistr ar Iuda, ac Israel am eu gau-dduwiaeth.*

AT [u] dy safn a'r udcorn, fel eryr [y daw y gelyn] u 2 Bren
yn erbyn tŷ 'r Arglwydd: am iddynt drosseddu 17 6
fyng-hyfammod, a phechu yn erbyn fyng-hyfraith. Esa 48 18
2 [v] Israel a lefant arnaf, Fy Nuw, nyni a'th adwaen- v Sal 78 34
om di. Tit 1 16
3 [w] Ffieiddiodd Israel ddaioni: y gelyn ai herlid w Mat 19 17
yntef.
4 [x] Hwynt a wnaethant frenhinoedd, ac nid o honofi, x Esa 31 1
gwnaethant dywysogion, ac ni chefais wybod: oi har-
ian, ai haur y gwnaethant iddynt eu hun ddelwau, ac
am hynny y torrir [Israel] ymmaith.
5 Samaria, ciliodd dy lô, fy nig a lidiodd wrthynt,
pa hŷd ni fedrant [ddilyn] diniweidrwydd?
6 [y] Canys o Israel [y mae] efe, y saer ai gwnaeth, ac y Ex 32 4
nid yw efe Dduw, canys yn ddrylliau y bydd llô Sa- Esa 44 10
maria.
7 [z] Gwynt a hauasant, a chorwynt a fedant, corsen z Mat 15 9
ni bydd iddo, y dwysen ni wnâ flawd, ac os gwnaiff, 2 Bren 18 9
dieithriaid ai llwnge.
8 [a] Israel a lyncwyd, bellach y byddant ym mysc y a Ier 22 28
cenhedloedd fel offeryn heb hoffder ynddo. 2 Tim 2 21
9 [b] Canys hwynt a aethant i fynu i Assyria, yn assyn b Ier 2 24
gwyllt unic iddo ei hun: Ephraim a gyflogodd gar-
iadau.
10 Hefyd am iddynt gyflogi [rhai] ym mysc y cen-
hedloedd, mi ai casclaf hwynt: a dechreuasant [ddeff-
ygio] tippin ar faich brenin y tywysogion
11 Canys amlhaodd Ephraim o allorau i bechu: all-
orau oeddynt ganddo i bechu.
12 Mi a sgrifennais iddo helaethder fyng-hyfraith, c Sal 147
[ac] fel dieithr-beth y cyfrifwyd. 19 20
13 [Yn lle] ebyrth fy rhoddion, cig a aberthant, ac
a fwytânt, yr Arglwydd nid yw fodlon iddynt: efe a
gofia bellach eu hanwiredd, ac efe a ofwya eu pech-
odau, [sef] dychwelyd o honynt i'r Aipht.
14 [d] Anghofiodd Israel ei weithudd, ac a adailadodd d Esa 29
balasau, ac Iuda a amlhaodd ddinsoedd caeroc: ond 23 Ezec 20
myfi a anfonaf dân iw dinasoedd, ac a yssaf eu pal- 32
asau.

PEN. IX.

*Newyn a chaethiwed Israel.*

ISRAEL [e] na orfoledda, na lawenycha fel y cenhedl- e Ezec 20
oedd, canys putteiniaist oddiwrth dy Dduw: gwobr- 32 Amos 3 2
au a hoffaist ar bob llawr dyrnu ŷd.
2 Y llawr dyrnu na'r gwin-wryf nis portha hwynt,
a'r gwin newydd a dwylla y [genhedlaeth] hon.
3 [f] Ni thrigant yng-wlad yr Arglwydd, ond Ephraim f Lef 25.
a ddychwel i'r Aipht: ac yn Assyria y bwyttânt 23 Sal 37 3
[beth] aflan. Ezec 4 13
4 [g] Ni thywalltant win i'r Arglwydd, ai haberthau ni Dan 1 8
[byddant] melus ganddo, byddant iddynt fel bara g Ier 6 20 Mal 3 4
galar-wyr: pawb a fwyttânt o honaw a halogir: o Zec 7 5 6
herwydd eu bara dros eu heneidiau ni ddaw i dŷ yr
Arglwydd.
5 Beth a wnewch ar ddydd uchel-wyl, ar ddydd
gwyl yr Arglwydd?
6 [h] Canys wele aethant oddi wrth ddinistr, yr Aipht h Esa 30
ai casgl hwynt, Memphis ai cladd hwynt, danadl a or- 13
escyn hyfrydwch eu harian hwynt, [a] drain [a dyf] Sal 107 34
yn eu pebyll.

i Galar 2, 7 [i] Dyddiau i ymweled a ddaethant, dyddiau talu 'r
11 pwyth a ddaethant: Israel a gant wybod [hyn:] y
Mica 3 11 prophwyd [fydd] ffol, ynfyd, ac anwadal: ac am aml-
der dy anwiredd y bydd aml cas.
j Esa 21 11 8 [j] Gwiliedudd Ephraim [a fu] gyd a'm Duw, [aeth]
a 62, 6 y prophwyd yn fagl adar-wr [yn maglu] yn ei holl
Galar. 4, lwybrau, [ac] yn gasineb yn nhŷ ei Dduw.
13 9 Aethant i'r glynnoedd, llygrasant megis yn amser
Gibea: efe a goffa eu hanwiredd, ac a ymwel ai pech-
od.
10 Cefais Israel fel grawn-win yn yr anialwch,
gwelais eich tadau megis y ffrwyth cynharaf yn y ffig-
us-bren yn eu dechreuad: [ond] hwynt a aethant at
Baal Peor, ymddidolasant i warth, ac aethant yn ffi-
aidd fel y carasant.
11 Ephraim eu gogoniant hwynt a eheda fel aderyn
o anedigaeth, o grôth, ac o feichiogiad.
k Iob 27, 12 [k] Ac er iddynt fagu eu plant rhoddaf hwynt heb
14 un plentyn: a gwae hwynt pan ymadawyf oddi wrth-
1 Sam. 28, ynt.
13 13 Ephraim hyd y gwelaf a blannwyd fel Tyrus mewn
cyfanneddle: etto [rhaid] i Ephraim ddwyn ei blant
allan at y lleiddiad.
14 [l] Dyro iddynt Arglwydd: beth a roddi? crothau
l Luc 23, erthylgar, a bronnau hespion.
29 15 [m] Eu holl ddrygioni hwynt [sydd] yn Gilgal, yno
m Hos. 12, y caseais hwynt: am ddrygioni eu gweithredoedd eu
11 hun y bwriaf hwynt allan o'm tŷ: ni chwanegaf eu
Adn 3,17 caru hwynt: eu holl dywysogion [ydynt] anhywaith.
16 Ephraim a dorrwyd i'r llawr, eu gwraidd a wyw-
odd, dwyn ffrwyth ni's gwnant, ac os cenhedlant,
lladdaf annwyl-blant eu crothau.
n 2 Cron. 17 [n] Fy Nuw ai gwrthyd hwynt, am na wrandaw-
36, 15 sant arno ef: am hynny y byddant gyrwydraid ym
Diar. 27, mhlith y cenhedloedd.
8

## PEN. X.

*Gau dduwiaeth Israel, ai cosp am hynny.*

GWINWYDDEN [o] wâg [yw] Israel, efe a esyd
o Zec. 7,5 ffrwyth iddo ei hun: yn ôl amlder ei ffrwyth yr
Mat. 6,1, amlhaodd efe allorau: yn ôl dai oni ei dir y gwellhas-
5 ant ar ddelwau.
p Barn. 9, 2 [p] Eu calon a ymrannodd, dinistrir hwynt bellach,
23 efe a dyrr i lawr eu hallorau hwynt, efe a ddestrowia
eu delwau.
3 [q] Canys yr awr hon y dywedant, Nid [oes] i ni fren-
q 2 Bren. in, am nad ofnasom yr Arglwydd: a pheth a wnae y
17, 6 brenin i ni?
Dat 18,9 4 [r] Dywedasant eiriau, gan dyngu anudon [wrth]
r Mat. 3, wneuthur ammod: tarddodd barn megis y wermod
Esa. 5, 7 yn rhychau y meusydd.
Amos 6, 5 [s] Presswylwyr Samaria a ofnant o herwydd llo
2 Bethafen, ei bobl a alarant drosto, offeiriaid Baal [y
Seph. 1, rhai] a lawenychant ynddo o achos eu gogoniant [a
4 alarant] pan ymadawo oddiwrtho ef.
1 Bren. 12, 6 [t] Hefyd efe a ddygir i Assyria yn anrheg i frenin
8 Iareb: Ephraim a dderbyn gywilydd, ac Israel a
17, 21 wradwyddir gan ei ddychymmyg ei hun.
7 Samaria ai brenin a dorrir ymaith fel ewyn ar
wyneb y dwfr.
Deut. 9, 8 [u] Uchelfeydd Afen a ddestruwir, [sef] pechodfa
21 Israel, dring drain a mieri ar eu hallorau, a dywedant
Dat. 6,16 wrth y mynyddoedd, Gorchuddiwch nyni, ac wrth y
Barn. 19 bryniau, Syrthiwch arnom.
Barn. 20, 9 [v] O Israel ti a bechaist er dyddiau Gibea, yno y
5 safasant: a'r rhyfel yn Gibea yn erbyn plant anwiredd
Seph. 3,6 ni chyffyrddodd â hwynt.



10 Wrth fy ewyllys y cospaf hwynt, a phobl a gesglir
yn eu herbyn, pan rwymer hwynt yn eu dwy gwys.
11 [w] Ac Ephraim [sydd] anner wedi ei dyscu yn dda w Deut.
genddi ddyrnu: a minne a af dros degwch ei gwddf, 25, 4 Phil 2,11
parafi Ephraim farchogeth, Iuda a ardd, ac Iacob a
lyfna iddo.
12 [x] Heuwch iwch mewn cyfiawnder, a medwch yn x Ier. 4, 3,
ol trugaredd: brynerwch iwch frynar, canys [y mae] 4 Esa. 55,6
yn amser i geisio yr Arglwydd hyd oni ddelo a gwlaw- Sal. 32,6
io iwch gyfiawnder.
13 [y] Arddasoch iwch ddrygioni, medasoch anwiredd, y Iob 4, 8
bwyttasoch ffrwyth celwydd, am it ymddyried yn dy Gal. 6, 7
ffordd dy hun, [ac] yn lluosowgrwydd dy gedyrn. Diar. 20, 17
14 Cyfyd terfysc yn dy bobl, a'th holl ddinasoedd Sal. 33,16
cedyrn a ddinistrir, fel y darfu i Salma ddinistrio Beth
Arbel yn amser rhyfel: [lle] y drylliwyd wrth gelfi
bennau y famm, a'r plant.
15 [z] Fel hyny y gwna Bethel i chwithau, am eich z Sal. 101.8
mawr-ddrwg: gan ddifetha y difethir brenin Israel ar 2 Bren. 17 5
y wawr ddydd.

## PEN. XI.

*1 Daioni'r Arglwydd i Israel. 5 Ai hanniolchgarwch hwythau.*

PAN [a] [oedd] Israel langc mi ai cerais ef, ac a a Ier. 2, 2
elwais fy mab o'r Aipht. Mat. 2,15
2 [Fel] y galwent arnynt, felly hwythau a aent oi
golwg hwynt: aberthasant i Baalim, a lloscasant arogl-
darth i ddelwau cerfiedic.
3 [b] Myfi hefyd a berais i Ephraim gerdded, cymmer- b Ex. 13, 20
odd yntef hwynt yn ei freichiau, ond ni chudnabuant Ezec. 19,
mae fi ai meddyginiaethodd hwynt. 4
4 [c] Tynnais hwynt mewn rheffynnau dynol, mewn c Can. 1,4
rhaffau cariad, oeddwn iddynt megis y rhai a godant 2 Cor 5,14
yr iau ar eu llechweddau hwynt: a bwriais attynt fwyd. 1 Sam. 7, 14
5 [d] Ni ddychwel efe i wlad yr Aipht, onid Assur Ioan 6,27 d 2 Bren.
fydd ei frenin, am iddynt wrthod troi. 18, 11
6 [e] A'r cleddyf a erys ar ei ddinasoedd ef, ac a dreul- Esa. 10, 5
ia hefyd, ac a ysa ei geingciau ef am ei ddychymygion e Lef. 26,
ei hun.
7 Fy mhobl fydd ar ddau feddwl am fy nychweliad,
a'r [prophwydi] ai galwasant ef at y Goruchaf, [ond]
ni chyd-dderchafodd efe [Dduw.]
8 [f] Pa fodd i'th roddaf ymmaith Ephraim? i'th roddaf f Esa. 63,
i fynu Israel? pa fodd i'th roddaf fel Adama, ac i'th 15 Ier. 31,20
osodaf megis Zeboim? trôdd fyng-halon ynof, a'm
edifeiriol emyscaroedd a gyd loscant.
9 [g] Ni chyflawnaf angerdd fy llid, ni ddychwelaf i g Sal. 78, 30
ddinistrio Ephraim: canys Duw ydwyfi ac nid dyn, Ezec. 16
Sanct [ydwyf] yn dy blith ac nid âf i'r ddinas. 60
10 [h] Ar ol yr Arglwydd yr ant, efe a rua fel llew, h Dat. 14,
pan ruo efe, yna meibion y gorllewyn a ddychrynant. 4
11 [i] Dychrynant fel aderyn y tô o'r Aipht, ac fel i Sal. 2,11
colomen o dir Assur: ac mi ai gosodaf yn eu tai medd 2 Cor. 7,5
yr Arglwydd.
12 [j] Ephraim a'm hamgylchynodd â chelwydd, a j Esa. 44,
thŷ Israel â thwyll: Iuda etto sydd yn llywodraethu 20 Rhuf. 6,
gyd â Duw, ac yn ffyddlon gyd a'r sainct. 13

## PEN. XII.

1 Pedr 2, 16

*Yn Nuw, ac nid yn nyn, y mae ymddyried.*

EPHRAIM [k] sydd yn ymborthi [ar] y gwynt, ac yn k Iob 15,2
dilyn gwynt y dwyrain, ar hyd y dydd yr amlha- Ier. 22,
odd gelwydd a dinistr, ammod a wnaethant a'r Assyr- 2 Bren 17,
iaid: [eu] holew a ddygwyd i'r Aipht. 4
2 [l] Ac [y mae] gan yr Arglwydd gwyn ar Iuda, ac
efe a ymwel ag Iacob yn ol ei ffyrdd, yn ol ei ddych- l 2 Cron. 23, 10
ymmygion y tâl iddo y pwyth.
3 Yn y groth y daliodd efe sodl ei frawd, ac yn ei

nerth yr ymdrechodd â Duw.
mGen.28 4 [m] Ac ymdrechodd â'r angel, a gorchfygodd, wyl-
12 Sal. 66, 6 odd, ac ymbiliodd ag ef: cafodd ef yn Bethel, ac yno
Rhuf. 15, yr ymddiddanodd â ni.
3 n Mica 6 5 [n] Ac Arglwydd Dduw y lluoedd [ie] yr Arglwydd
8 Hab. 2,3 [yw] ei goffadwriaeth.
6 Tro dithe at dy Dduw, cadw drugaredd, a barn,
ac ymddiriet yn dy Dduw bob amser.
7 Yn ei law ef Canaan [y mae] cloriannau twyll: da
ganddo orthrymmu.
oDiar.13, 8 [o] A dywedodd Ephraim, Etto mi a gyfoethogais,
7 Tit. 1, 16 cefais i mi olud, ni chafodd fy holl boenau arnaf [un]
anwiredd yr hwn [sydd] bechod.
pIcr. 2,2 9 [p] A mi [ydwyf] yr Arglwydd dy Dduw [a'th ddug]
o dir yr Aipht, gwnaf it drigo etto mewn pebyll:
megis ar ddyddiau uchel-wyl.
10 Ymddiddenais trwy y prophwydi, a mi a amlheais
weledigaethau, a mynegais gyffelybiaethau trwy law
y prophwydi.
11 Ai anwir Gilead? gwagedd ydynt yn unic: yn
Gilgal yr aberthasant ychen, eu hallorau hefyd [ydynt]
fel carneddau yn rhychau y maes.
12 Ffodd Iacob hefyd i wlad Syria, a gwasanaethodd
Israel am wraig, am wraig y cadwodd ddefaid.
q Ex. 12, 13 [q] Trwy brophwyd y dug yr Arglwydd Israel o'r
50 Sal.77,20 Aipht: a thrwy brophwyd y cadwyd ef.
r 2Bren. 14 [r] Cyffrodd Ephraim chwerwedd: ai waed ei hun
17, 9 a dywelltir arno: ai Arglwydd a dâl iddo ei waradwydd.
1 Sam. 2, 30

PEN. XIII.

*Ffieidd-dra Israel, 9 Ac achos ei dinistr hwynt.*

PAN [s] lefarodd Ephraim, arswyd [oedd,] ymdder-
chafodd efe yn Israel: onid pechodd gyd â Baal,
a bu farw.
s 1 Bren. 11, 26 2 [t] Ac yr awr hon chwanegasant bechu, ac oi harian
a 12. 20 y gwnaethant iddynt eu hun yn ol eu meddyliau eu
t 1 Tim. 4, hun, [sef] delwau tawdd yn eulynnod: a'r cwbl yn
13 Mat 15,9 waith y celfydd, am y rhai y maent yn dywedyd, Y
Col. 3,23 rhai a aberthant ddyn, cusanant y lloi.
3 Am hynny y byddant fel y boreu gwmmwl, megis
y gwlith a ymedu yn foreu, fel man-us a chwaler o'r
llawr dyrnu, ac fel mwg o ffumer.
u Act. 4, 4 [u] Ac myfi [yw] 'r Arglwydd dy Dduw, [dy wared-
12 ydd] o dir yr Aipht: ni chei gydnabod Duw onid
myfi: ac nid [oes] iachawdwr onid myfi.
5 [v] Mi a'th adnabum yn y diffaethwch, yn nhir y
vDeut 8, 15 poethni.
a 32, 10 6 [w] Fel [yr oedd] eu porfa y cawsant eu gwala, a
wDeut.8 7, 8 phan gawsant eu gwala, codasant eu calonnau, ac
anghofiasant fi.
7 Onid mi a fyddaf fel llew iddynt, megis llewpart
xDiar.17 12 ar ffordd Assur.
2Bren. 17 25 8 [x] Cyfarfyddaf â hwynt fel arth wedi colli ei chen-
awon: rhwygaf linynau eu calon hwynt yna fel llew y

difâf hwynt, bwyst-fil y maes ai llarpia hwynt.
9 [Dy bechod] a'th ddinistriodd Israel: onid ynofi
[y mae] dy gymmorth.
10 [y] Dy Frenin ydwyf, pa le [y mae arall] a'th waredo yDeut32 38
di yn dy holl ddinasoedd? mae dy frawd-wyr, am y 1Sam. 8,
rhai y dywedaist, Dyro i mi frenin, a thywysogion? 19
11 Rhoddaf it frenin yn fy nig: a dygaf ef ymaith yn
fy llid.
12 [z] Rhwymwyd anwiredd Ephraim, cuddiwyd ei zIob14,17
bechod. Galar. 1, 14
13 [a] Gofid un yn escor a ddaw arno ef, mab anghall aDiar.22 3
yw efe: canys ni ddylase efe sefyll yr amser [hwn] yn
escoreddfa plant. Esa. 37,3
14 [b] O law uffern yr achubaf hwynt, oddiwrth angeu Ioan 3,5 b1Cor.15
y gwaredaf hwynt, byddaf angeu i ti O angeu, byddaf 45
drangc i ti uffern: cuddiwyd edifeirwch o'm golwg. Rhuf.11, 29
15 [c] Canys efe a ffrwytha ym mysc brodyr, daw cEzec.19
gwynt y dwyrain, [sef] gwynt yr Arglwydd o'r anial- 12
wch a dderchafa, ac a sycha ei withiennau, ai ffynnon Luc11,21
a aiff yn hesp: efe a yspeilia bob llestr dymunol.
16 Diffeithir Samaria am ei bod yn anufudd iw Duw,
syrthiant ar y cleddyf, eu plant a ddryllir wrth gelfi,
ai [gwragedd] beichiogion a rwygir i fynu.

PEN. X. IV.

*Cyngor i Israel i droi at Dduw.*

YMCHWEL Israel at yr Arglwydd dy Dduw:
canys ti a syrthiaist trwy dy anwiredd dy hun. dRhuf.8, 26
2 [d] Cymmerwch gyd â chwi y geiriau [hyn] a dych- Luc15,19
welwch at yr Arglwydd, a dywedwch wrtho, Maddeu Ioan1, 19 Heb.9,28
di ein holl anwiredd, cymmer [ni] yn ddaionus, a
thalwn [it] loi ein gwefusau.
3 [e] Nid Assur a' n hachub ni, ni farchogwn mwy ar eSal. 145
feirch, ac ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwy- 3
lo, O ein duwiau, o herwydd ynot ti y caiff yr amddif-
ad drugaredd.
4 [f] Meddiginiaethaf eu hymchweliad hwynt, caraf fEph.1,6
hwynt yn ewyllyscar, canys trodd fy nig oddiwrtho.
5 [g] Byddaf fel gwlith i Israel, efe a flodeua fel y lili,
ac â leda ei wraidd megis [prennau] Libanus. gIoan 15, 17
6 [h] Ei geingciau a gerddant, bydd ei degwch fel yr h1Ioan 2
oliwydden, ai arogl fel Libanus. 10 2Cor.2,14
7 [i] Y rhai a arosant dan ei gyscod ef a ddychwelant, iSal.91,1
ac a dyfant [fel] yd, blodeuant hefyd fel y winwydden, Ioan 12,
bydd ei goffadwriaeth fel gwin Libanus. 24
8 [j] Ephraim beth [sydd] i mi mwyach [a wnelwyf] jIoan4 24
ag eulynnod? gwrandewais, ac edrychais arno: myfi a 1, 16
[ydwyf] fel ffynnidwydden ir, o honofi y ceir dy
ffrwyth di.
9 [k] Yr hwn [sydd] ddoeth a ddeall hyn, a'r deallgar kDan.12
ai cydnebydd: uniawn yw ffyrdd yr Arglwydd, y rhai 10 Ioan 3,19
cyfiawn a rodiant ynddynt: ond yr annuwiolion a
dyamgwyddant ynddynt.

*TERFYN LLYFR OSEA.*

# LLYFR Y PROPHWYD
# IOEL.

PENNOD. I.

*Duw yn bygwth ar y bobl amryw ddialeddau, ac yn eu hannog i edifeirwch.*

a Sal. 94, GAIR [a] yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Ioel fab
2Cron.33 10 Pethuel.

2 [b] Gwrandewch hyn chwi henuriaid, a rhoddwch bMica 6, 9 Esa. 3,12
glust holl drigolion y wlâd: a fu y fath beth yn eich cGen.18,
dyddiau? neu yn nyddiau eich tadau? 19
3 [c] Mynegwch hyn i'ch plant, a'ch plant iw plant Ex. 15,14
hwythau, ai plant hwythau i'r genhedlaeth nesaf.

4 Gweddill y lindis a fwyttaodd y ceiliog rhedyn, a
gweddill y ceiliog rhedyn a ddifaodd prŷf y rhwd, a
gweddill pryf y rhwd a yssodd y Locust.
5 [d] Deffroiwch fedd-wŷr, ac wylwch, ac udwch holl
dEph. 5, 14 yf-wŷr gwin am y gwin newydd: canys torrwyd ef
Luc21 34 oddi wrth eich min chwi.
Diar 16, 26 6 [e] O herwydd cenhedlaeth gref anifeiriol a ddaeth i
Esa. 5,24 fynu ar fy nhir, dannedd llew [yw] ei dannedd, a chil
eDiar.30 ddannedd hen lew [sydd] iddi.
25 Hos. 9, 3 7 [f] Gosododd fyng-winwydden yn ddifrod, a'm ffigus-
Dat. 9,8, bren yn ddiriscledd, gan ddinoethi dinoethodd hi, a
10 fEsa.5,3, thaflodd ymmaith, ei changau a wynnasant.
4 Hos. 2, 8 8 Uda fel gweryf wedi ymwregysu [mewn] sach-liain
am briod ei hieuengtid.
gSeph.3, 9 [g] Torrwyd oddi wrth dŷ 'r Arglwydd offrwm bwyd,
18 ac offrwm diod: y mae 'r offeiriaid [sef] gweinidogion
Lef. 10,6 yr Arglwydd yn galaru.
10 Difrodwyd y maes, y ddaiar a alara am wneuthur
difrawd ar yr ŷd, sychodd y gwin newydd, llescaodd
yr olew.
11 Cywilyddiwch y llafur-wŷr, udwch y gwin-wŷr
am y gwenith, ac am yr haidd: canys darfu am gyn-
haiaf y maes.
12 Gwywodd y win-wŷdden, llescaodd y ffigus-bren
pren y pomgranat, y palm-wydden, a'r afallen, [a] holl
brennau y maes a wywàsant am wywo llawenydd oddi
wrth feibion dynion.
13 [h] Ymwregyswch a griddfenwch chwi offeiriaid,
h2Tim. 4, 12 udwch wenidogion yr allor, deuwch wenidogion fy
Esa. 62,6 Nuw dros nos mewn sach-liain, am yr attelir oddi wrth
1Sam. 4, 21 dŷ eich Duw offrwm bwyd, ac offrwm diod.
iMat. 17, 21 14 [i] Gosodwch ympryd, gelwch gynnulleidfa, cescl-
wch yr henuriaid [a] holl drigolion y wlad [i] dŷ 'r Ar-
glwydd eich Duw, a gwaeddwch ar yr Arglwydd.
jIer. 30,7 15 j Och rhag heddyw, canys dydd yr Arglwydd
Luc19,41 sydd yn nesau, ac a ddaw fel difrod oddiwrth yr Holl-
Sal. 37,13 alluawg.
16 Oni thorwyd yng-ŵydd ein llygaid ni oddi wrth
tŷ ein Duw y bwyd, y llawenydd, a'r digrifwch?
17 [k] Pydrodd yr hadau dann ei priddellau, yr yscub-
kIer. 41, 8 oriau a anrhaithiwyd, yr yd-lannau a fwriwyd i lawr,
Luc 21,4 am wywo 'r ŷd.
lHos. 4,2 18 l Oh o'r griddfan y mae 'r anifeiliaid, y mae yn
1Sam. 15, 3 gyfing ar y minteioedd gwarthec, am nad [oes] borfa
iddynt, y bagadau defaid hefyd a anrhaithiwyd.
mMica7, 6, 7 19 [m] Arnat ti Arglwydd y galwaf, am i'r tân ddifa
Hab 3,17 porfeudd yr anialwch, ar fflam a oddeithiodd holl
Sal. 50,15 brennau y maes,
20 [n] Anifeiliaid y maes hefyd fydd yn brefu arnat,
nSal.145, 15 a 147,9 am sychu o'r ffrydau dwfr, a'r tân a yssodd borfeudd
yr anialwch.

## PEN. II.

*Prophwydo y mae efe ddyfodiad gelynnion aruthrol.*
*13 Cyngor i edifarhau. 18 Cariad Duw iw bobl.*

oNum.10 CENWCH [o] yr udcyrn yn Sion, ac udcenwch ar
5 fynydd fy sancteiddrwydd: dychryned holl bres-
Esa. 66,2 swyl-wyr y wlâd, am ddyfod dydd yr Arglwydd, can-
ys y mae yn agos.
2 Diwrnod tywyll dû, diwrnod cwmmyloc, a niwloc,
fel y wawr wedi ymwascaru ar y mynyddoedd: felly
pobl lawer a chryfion [a ddaw,] ni bu ei fath er ioed, ac
pSal. 50, ni bydd eilwaith ar ei ol hyd byth.
Gen. 13, 10 3 [p] Oi flaen y difa y tân, ac ar ei ol y fflam, [mae] 'r
Zec 7, 14 wlâd oi flaen fel gardd baradwys, ac ar ei ol yn ddiff-
Sal. 107, 34 aethwch anrhaithiedic: ac hefyd ni ddiangc dim gan-
do.

4 [q] Yr olwg [arno] ef [sydd] megis golwg o feirch, ac qDat 9, 9
fel marchogion, felly y rhedant.
5 Megis sŵn cerbydau ar bennau y mynyddoedd y
llammant, fel sŵn tân yssol yn difa y soft, [ac] fel
pobl gryfion parot i ryfel.
6 Oi flaen yr ofna y bobl, pob wyneb a gascl barddu.
7 [r] Rhedant fel glewon, a dringant y mûr fel rhyfel- rSal.127, 2
wyr, cerddant bob un yn ei ffordd ei hun, ac ni rwystr- Diar. 30,
ant eu llwybrau. 27
8 Ni wascant y naill y llall, cerddant bob un ei Dat 9,11
lwybr ei hun: ac er eu syrthio ar y cleddyf ni's arch-
ollir hwynt.
9 [s] Gwibiant ar hyd y ddinas, rhedant ar y mûr, dring- sIoan 10,1
ant i'r tai, deuant trwy 'r ffenestri fel lleidr. Ier 9, 21
10 [t] Oi flaen ef y cryn y ddaiar, y nefoedd a gyffroir, tSal. 18 7
yr haul ar lleuad a dywyllir, ar sèr a gasclant eu lle- Mat 24,29
wyrch [attynt.]
11 [u] A'r Arglwydd a rydd ei lef o flaen eu lû, canys uSal 29,3
mawr odieth yw ei werssyll ef, canys cryf yw 'r hwn Dat 18,8
sydd yn gwneuthur ei air ef o herwydd mawr yw dydd Ier.50,34
yr Arglwydd, ac ofnadwy iawn: a phwy ai herys?
12 [v] Ond yr awr hon medd yr Arglwydd, Dychwel- v2Cor. 6,
wch attafi a'ch holl galon, mewn ympryd, mewn wyl- 2 Esa, 55,6
ofain, ac mewn galar.
13 [w] A rhwygwch eich calonnau, ac nid eich dillad, wSal.51.
ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw: o her- 18 Galar. 3,
wydd graslawn, a thrugarog [yw] efe, hwyrfrydic i 33
ddigofaint, ac aml o drugaredd, ac edifeiriol am 2Pedr 3, 9
ddrwg.
14 [x] Pwy a ŵyr a drŷ efe, ac edifarhau, a gweddillo xEsa. 65,
bendith ar ei ôl, [sef] bwyd offrwm, a diod offrwm i'r 8 Hag.2,1
Arglwydd eich Duw chwi?
15 Cenwch udcorn yn Sion, gosodwch ympryd,
gelwch y gynnulleidfa.
16 [y] Cesclwch bobl, gosodwch gymmanfa, cynhullwch y1Cor. 7,
henuriaid, cesclwch blant, a'r rhai yn sugno bronnau: 5 Zec. 8,19
deued y priod-fab allan oi stafell, a'r briod-ferch allan
o stafell ei gwely.
17 [z] Wyled yr offeiriaid gweinidogion yr Arglwydd zSal.42,7
rhwng o porth a'r allor, a dywedant, Arbed dy bobl O a 79, 10
Arglwydd, ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth, i ly-
wodraethu o'r bobloedd arnynt: pa ham y dywedant
ym mhlith y bobloedd, Pa le [y mae] eu Duw hwynt?
18 [a] Yna'r Arglwydd a eiddiga am ei dir, ac a ar- aZec. 1,
bed ei bobl. 14 a 8, 2 Sal.105,8
19 [b] A'r Arglwydd a ettyb, ac a ddywed wrth ei bobl, bMat. 6,
Wele fi yn anfon i chwi ŷd a gwin, ac olew, a diwellir 33
chwi o honaw ef, ac ni roddaf chwi mwyach yn wr-
adwydd ym mysc y cenhedloedd.
20 [c] Bwriaf yn bell oddi wrthych y gogledd [lu,] a cDeut 32
gyrraf ef i dir sych diffaeth, ei wyneb [a fydd] tua môr 39
y dwyrain, ai [ben] tua 'r môr eithaf, ei ddrewi a gyfyd,
ai ddrwg sawr a ddring, am iddo wneuthur mawrhyd-
ru.
21 [d] Nac ofna di ddaiar, ymddigrifa, a llawenycha, d1Ioan 4.
canys yr Arglwydd a wnaeth fawredd. 18
22 Nac ofnwch anifeiliaid y maes, am darddu por- Esa. 28.
feudd yr anialwch: canys y prenn a ddug ei ffrwyth, 29
y ffigus-bren, a'r win-wydden a roddasant eu cnwd.
23 Plant Sion, ymddigrifwch, ac ymlawenhewch yn
yr Arglwydd eich Duw: canys efe a roddes i chwi
gynhar-law cyfiawnder, ac a wnaeth i'r cynhar-law,
a'r diweddar law ddescyn i chwi yn y [mis] cyntaf. e1Tim 4,
24 [e] A'r scuboriau a lenwir o ŷd, a'r gwin newydd a'r 8 Mat.6,33
olew a aiff tros y gwryfau. fZec 10,
25 [f] A mi a dalaf i chwi y blynyddoedd a ddifaodd y Esa 61,10

ceiliog rhedyn, pryf y rhwd, y locust, a'r lindis, fy
llu mawr mau fi yr hwn a anfonais yn eich plith.
g 1 Cor 10, 31 26 [g] Yna y bwytewch, gan fwytta, ac ymddigoni: a
1 Tim. 4, 4, 5 moliennwch enw 'r Arglwydd eich Duw, 'r hwn a
Rhuf 5,5 wnaeth yn rhyfedd, ac ni wradwyddir fy mhobl byth.
h Dat. 2,1 27 [h] A chewch wybod mai ym-mysc Israel [yr ydwyf]
fi, ac mai myfi [yw] yr Arglwydd eich Duw, ac nid
[neb] arall: a'm pobl ni's gwradwyddir byth.
i Heb. 2,5 Act 2,33 28 [i] A bydd ar ol hyn y tywalltaf fy Yspryd ar bob
Ioan 7,39 cnawd, a'ch meibion, a'ch merched a brophwydant,
eich henuriaid a welant freuddwydion, a'ch gwŷr ieu-
angc a welant weledigaethau.
j Gal. 3,28 29 [j] Ac ar weision hefyd a morwynion y tywalltaf fy
1 Cor. 4,4 5 Yspryd yn y dyddiau hynny.
k Mat. 24 29 30 [k] A rhoddaf ryfeddodau yn y nefoedd, ac yn y
Luc 21,25 ddaiar, gwaed, a thân, a cholofnau mwg.
l Dan. 6, 12 31 [l] Yr haul a droir i dywyllwch, a'r lleuad i waed,
Mal. 4, 5 o flaen dyfod mawr, ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd.
m Rhuf. 10, 12, 13 32 [m] A bydd yr achubir pob un a alwo ar enw 'r Ar-
a 9, 27 glwydd: canys bydd ymwared fel y dywedodd yr Ar-
glwydd ym mynydd Sïon, ac yn Ierusalem: ac yn y
gweddillion a alwo 'r Arglwydd.

## PEN. III.

*Barn Duw ar elynnion ei bobl.*

CANYS [n] wele yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser
n Rhuf 11 25, 27 hwnnw, pan ddatroaf gaethiwed Iuda, ac Ie-
Esa. 11, 14, 15 rusalem,
2 [o] Casclaf hefyd yr holl genhedloedd, a dygaf hwynt
o Dat. 16, 14, 16 i wared i'r glynn Iehosaphat, a dadleuaf â hwynt yno
dros fy mhobl a'm hetifeddiaeth Israel, y rhai a was-
carasant hwy ym mysc y cenhedloedd, rhanasant fy-
nhir.
3 [p] Ac ar fy mhobl y bwriasant goel-brennau, a
p Amos 1. 7, 8 rhoddasant y bachgen er puttain, a gwerthasant y
Nah. 2,10 fachgennes er gwîn, ac yfasant.
q Act. 9, 4 4 [q] Tyrus hefyd, a Sidon, a holl ardaloedd Palestina
beth a [wnewch] chwi i mi? a delwch i mi y pwyth?
Luc 18, 8 ac os telwch i mi, buan iawn y dychwelaf eich tâl ar
eich pen eich hunain.
5 Canys cymmerasoch fy arian a'm haur, a dygasoch
i'ch temlau fy nhlyssau goref.
r Galar. 2 4 6 [r] Gwerthasoch hefyd feibion Iuda, a meibion Ie-
Iago 2,13 rusalem i'r Groegiaid: er eu pellhau oddi wrth eu
hardaloedd ei hunain,
s Ioan 11, 51 7 [s] Wele mi ai codaf hwynt o'r lle y gwerthasoch
Dat. 13,10
hwynt iddo: ac a ddatroaf eich tâl ar eich pen eich
hunain.
8 [t] A minne a werthaf eich meibion, a'ch merched i t 1 Sam 15 33
lâw meibion Iuda, a hwythau ai gwerthant i'r Sabeaid
i genhedlaeth bell: canys yr Arglwydd a lefarodd
[hyn.]
9 [u] Cyhoeddwch hyn ym mysc y cenhedloedd, gos- u Dat. 16, 14
odwch ryfel, deffroiwch y gwŷr cryfion, nesaed y gwŷr Esa. 8, 9,
o ryfel, a deuant i fynu. 10
10 Gyrrwch eich ceibiau yn gleddyfau, a'ch pladur-
iau yn waiw-ffyn: a dyweded y llesc, Cadarn ydwyfi.
11 [v] Ymgesclwch y cenhedloedd, a deuwch o am-
gylch ogylch, ac ymgynhullwch: yno y descyn yr v Zec. 14, 1
Arglwydd dy gedyrn di. Dat. 19,12
12 [w] Coded y cenhedloedd a deuant i fynu i'r glynn a 12, 8 w Dat. 11
Iehosaphat: o herwydd mai yno 'r eisteddaf i farnu 'r 18
holl genhedloedd o amgylch. Dat. 3,21 Act 17,31
13 [x] Medwch canys addfedodd y cynhaiaf, deuwch x Dat. 14,
i wared o herwydd y gwryf a lanwodd, a'r gwasc- 15, 19
gafnau a aethant trosodd, am amlhau eu drygioni
hwynt.
14 Gweryn lawer [a fydd] yng-lynn diwedd-brawd:
canys agos yw dydd yr Arglwydd yng-lynn diwedd-
brawd.
15 Yr haul, a'r lloer a dywallant, a'r sêr a gasclant
eu llewyrch [attynt.] y Amos 1 2
16 [y] A'r Arglwydd a rua o Sïon, ac a rydd ei lêf o Ie- Ier. 25,30
rusalem, y nefoedd hefyd, ar ddaiar a grynant: onid
yr Arglwydd [fydd] gobaith ei bobl, a chadernid mei-
bion Israel.
17 [z] Felly y cewch wybod mai myfi [yw] 'r Arglwydd z Mal. 3, 18
eich Duw 'n trigo yn Sïon fy mynydd sanctaidd: yna Zec 14,21
y bydd Ierusalem sanctaidd, ac nid aiff dieithriaid Mat. 13,
trwyddi mwyach. 30
18 [a] A'r dydd hwnnw y bydd i'r mynyddoedd ddefn- a Sal. 72,3
ynnu melus-wîn, a'r brynnau a lifeiriant o laeth, a holl Amos 9, 13
ffrydau Iuda a redant yn ddwfr, a ffynnon a ddaw allan Dat. 22,1
o dŷ 'r Arglwydd, ac a ddwfrha ddyffryn Sittim. Sal. 46, 4
19 [b] Yr Aipht a fydd anghyfanedd, ac Edom fydd b Ier. 51, 35
anialwch anghyfaneddol, am draha, [ar] feibion Iuda, 2 Thes. 1,
am iddynt dywallt gwaed gwirion yn eu tîr hwynt. 6
20 Etto Iuda a drig byth, ac Ierusalem o genhedl- c Ezec. 48 35
aeth i genhedlaeth. Dat. 21,3
21 [c] Glanhâf hefyd waed y rhai ni's glanheais, a'r
Arglwydd sydd yn trigo yn Sïon.

*TERFYN LLYFR IOEL.*

---

# LLYFR Y PROPHWYD

# AMOS.

## PEN. I.

1 *Hanes Amos, ei brophwydoliaeth yn erbyn Damascus, Azza, Edom, ac Ammon.*

a 1 Cor. 1, 27 GEIRIAU [a] Amos (yr hwn oedd ym mysc bugeil-
Mat. 4,18 Zec. 14,5 iaid Thecoa) y rhai a welodd efe ar Israel yn
b 2 Pedr 1 21 nyddiau Osia brenin Iuda, ac yn nyddiau Ierôboam
2 Tim. 3, 16 fab Ioas, brenin Israel, ddwy flynedd o flaen y ddaiar-
Ioel 3,16 gryn.
c Iob 5,19 2 [b] Ac efe a ddywedodd, Yr Arglwydd a rua o Sïon.
a 33, 29 ac a rydd ei lef o Ierusalem, a chyfaneddau y bugeil-
Preg. 8, 11 iaid a alarant, a phen Carmel a wywa.
3 [c] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, O herwydd tair
[o] anwireddau Damascus, ac o herwydd pedair ni's
dychwelaf hyn yn ei ol: am iddynt ddyrnu Gilead â
ffustiau heirn.
4 [d] Am hynny anfonaf dân i dŷ Hazael, ac efe a ddifa d [illegible] 19
balasau Benhadad.
5 Drylliaf drosolion Damascus, diwreiddiaf y pres-
swylwyr o ddyffryn Afen, a'r hwn a gynhalio deyrn-
wialen tŷ Edom: a phobl Syria a ânt yn gaeth i Cir,
medd yr Arglwydd.
6 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Am dair [o] anwir-
eddau Azza, ac am bedair ni throaf hyn yn ei ol, am
iddynt gaeth-gludo caethiwed gyflawn i Edom iw

gwarche.
eSal 97,1 7 e Am hynny anfonaf dân ar fûr Azza: ac efe ddifa
eiphalasau hi.
f Esa.27,7,8 8 f Ac mi a dorraf y presswyl-wr o Asdod: a'r hwn a
ddeil deyrn-wialen o Ascalon, a throaf fy llaw at Ecron, a derfydd am weddill y Philistiaid, medd yr Arglwydd Dduw.
g Ioel 3,4 6 1Bren. 5,1 9 g Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Am dair o anwireddau Tyrus, ac am bedair ni ddychwelaf hyn, o herwydd iddynt hwy warche cwbl gaethiwed yn Edom: ac na chofiasant y cyfammod brawdol:
10 Am hynny anfonaf dân i fûr Tyrus, ac efe a ddifa ei phalasau hir.
h Sal. 137,7 11 h Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Am dair o anwireddau Edom, ac am bedair ni ddychwelaf hyn, am iddo erlid ei frawd a'r cleddyf, a llygru ei drugaredd, ai yspeilo byth yn ei ddig, a chadw ei lid y wastad.
Ier.49,7 Esa. 63,1 12 i Am hynny anfonaf dân i Theman, yr hwn a ddifa balasau Bozra.
j Ier. 49,1 1Tim. 6,10 Esa. 5,8 13 j Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Am dair o anwireddau meibion Ammon, ac am bedair ni ddychwelaf hyn, am iddynt hwy rwygo gwragedd beichiogion Gilead, er helaethu eu terfynau eu hun.
k Sal. 140,7 14 k Cynneuaf dân ar fûr Rabba. ac efe a ddifa ei phalasau mewn gwaedd ddydd y rhyfel, ac mewn temhestl ddydd y corwynt.
l 1Sam. 12 25 Iob 21, 18 15 l Ai brenin a aiff yn gaeth, efe ai bennaethiaid gyd ag ef: medd yr Arglwydd.

PEN. II.

*Prophwydoliaeth yn erbyn Moab, Iuda, ac Israel.*

FEL hyn y dywed yr Arglwydd, Am dair o anwireddau Moab, ac am bedair ni throaf hyn yn ei ôl: am iddo losci escyrn brenin Edom yn lludw.
m Ier. 48,22 Esa 16,14 Sal. 37,38 2 m Am hynny anfon dân i Moab, yr hwn a ddifa balasau Cerioth: a Moab fydd marw mewn terfysc, gweiddi, a llais udcorn.
n Ier. 48,7 11 3 n Mi a dorraf ymmaith ei barn-wr oi mysc: ai holl bendefigion a laddaf gyd ag ef, medd yr Arglwydd.
o Sal. 147,19,20 Ezec. 20,13,20 4 o Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Am dair o anwireddau Iuda, ac am bedair ni throaf hyn yn ei ôl: am iddynt ddirmygu cyfraith yr Arglwydd, ac na's cadwasant ei ddeddfau ef: onid eu celwyddau ai cyfeiliornodd hwynt, y rhai 'r aeth eich tadau ar eu hôl.
p Ier. 32,1 Galar. 1,1,2 5 p Am hynny 'r anfonaf dân i Iuda, ac efe a ddifa balasoedd Ierusalem.
6 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Am dair o anwireddau Israel, ac am bedair ni throaf hyn yn ei ol, am i chwi werthu y cyfiawn am arian, a'r tlawd er pâr o escidiau.
q 1Cor. 5,1 Rhuf. 2,24 7 q Dyheuadasant uwch ben y tlodion yn llwch y ddaiar, a gwyrasant ffordd y trueniaid: gŵr, ai dâd a ânt at yr un llangces, i halogi fy enw sanctaidd.
r 1Cor. 8,10, 21 8 r Ac ar ddillad wedi eu rhoi yng-wystl y gorweddant wrth bob allor: a gwin y dirmygus a yfant [yn] nhŷ eu Duw.
s Ier.9,23 Sal. 33,16 Mal. 4,1 9 s A myfi a ddinistrais yr Ammoriaid oi blaen hwynt, yr hwn oedd fel uchter y cedr-wydd ei hyd, ac efe oedd gryf fel derw: etto mi a ddinistriais ei ffrwythau oddi arnodd, ai wraidd oddi tanodd.
10 Myfi hefyd a'ch dugym chwi i fynu o wlâd yr Aipht, ac a'ch arweiniais chwi ddeugain mhlynedd trwy 'r anialwch i oresgyn gwlâd yr Ammoriaid.
t Sal.147,19,20 Esa. 1,18 11 t A mi a gyfodais o'ch meibion chwi [rai] yn brophwydi, ac o'ch gwŷr ieuaingc rai yn Nazareaid: oni [bu] hyn O meibion Israel, medd yr Arglwydd?
12 Ond chwi a roesoch i'ch Nazareaid win iw yfed,
ac a orchymynnasoch i'ch prophwydi, gan ddywedyd, Na phrophwydwch.
13 Wele fi wedi fy llethu tanoch, fel y llethir y fenn lawn o yscubau.
14 u Methodd gan y buan ddiangc, a'r cryf ni chadarnhaodd ei rym, a'r cadarn ni waredodd ei enaid ei hun u Preg.9,11 Ier 9.23 Sal. 76,5
15 Ni saif a ddalio y bwa, ni ddiangc y buan o draed, nid achub marchog y march ei einioes ei hun.
16 A'r cryfaf ei galon o'r cedyrn a ffŷ y dwthwn hwnnw yn noeth-lymmun, medd yr Arglwydd.

PEN. III.

*Dangos y mae efe anniolchgarwch tŷ Israel, ai rhybuddio o'r gosp a ydoedd yn dyfod am hynny.*

GWRANDEWCH v y gair yr hwn a lefarodd yr Arglwydd i'ch erbyn chwi plant Israel: yn erbyn yr holl deulu a ddugym i i fynu o wlâd yr Aipht, gan ddywedyd, v Act 22,22 Esa. 48,1
2 Chwi yn unic a adnabum o holl deuluoedd y ddaiar: am hynny ymwelaf a chwi [am] eich holl hanwireddau.
3 w A rodiau dau yng-hyd heb iddynt gydtuno? w 2Cor 6,14
4 A rua y llew yn y goedwic heb [fod] iddo ysglyfaeth? neu a leisia cenew llew oi wâl heb iddo ddal? Hos. 9,3
5 x A syrth yr aderyn yn y fagl [i] lawr heb fod adarwr? a gyfyd efe y fagl oddi ar y ddaiar heb ddal dalfa? x Mat. 10 Act 17,25
6 y A genir udcorn mewn dinas heb ddychrynu y bobl? a fydd niwed mewn dinas heb i'r Arglwydd ei wneuthur? y Esa. 45,7
7 Canys ni wnaiff yr Arglwydd ddim, a'r na's dangoso ei ddirgelwch iw weision y prophwydi.
8 z Rhuodd y llew, pwy nid ofna? yr Arglwydd Iôr a lefarodd, pwy ni phrophwyda? z Ier 1,17 1Cor9,16
9 a Cyhoeddwch o fewn y palasau yn Asdod, ac yn y palsau yng-wlad yr Aipht: a dywedwch, Deuwch ynghyd ar fynyddoedd Samaria, a gwelwch derfysgoedd lawer oi mewn, a'r gorthrymmedigion yn ei chanol hi. a Mat 11,21 Ier 2 10 11 Ezec 16 46
10 b Ac ni fedrant wneuthur iniondeb medd yr Arglwydd: pentyru y maent drais, ac yspail yn ei palasau. b 2 Pedr 3,5 Rhuf 2,5 Iago 5,3
11 c Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, gelyn [fydd] o amgylch y tir, ac a dynn i lawr dy nerth oddi wrthit, a'th balasoedd a yspeilir. c 1Tim 6,17 Diar 10 1
12 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Fel yr achub y bugail o safn y llew y ddwy goes, neu ddryll y glust: felly 'r achubir meibion Israel y rhai ydynt yn trigo yn Samaria, mewn cwrr gwely o fewn Damascus [megis mewn] gorweddle.
13 d Gwrandewch a thestiolaethwch yn nhŷ Iacob medd yr Arglwydd, [sef] Arglwydd Dduw y lluoedd, d 1Cor 11,25
14 Mai y dydd yr ymwelaf ag anwiredd Israel yn ei erbyn, y gofwyaf hefyd alloran Bethel: cyrn yr allorau a ddrylliwyd, ac a syrthiasant i'r llawr.
15 e A mi a darawaf y gaiaf-dŷ, a'r hafod-tŷ, a derfydd am y tai Ifori: drylliaf hefyd y teiau mawrion ymmaith medd yr Arglwydd. e Barn 3,20 2Bren 23,55

PEN. IV.

*Cosbedigaeth swyddogion Samaria (y rhai a elwo efe gwarthec Basan) am eu gau-dduwinaeth. 8 Eu cyndynrwydd hwythau i wellhau ar ol ei holl gosbedigaethau.*

GWRANDEWCH f y gair hwn gwarthec Basan y ydych ym mynydd Samaria, y rhai ydych yn treisio y tlawd, yn yssigo 'r anghenog, ac yn dywedyd wrth y meistred, Moeswch fel y gallom yfed. f Salm 4,12 Mica 3,2
2 Tyngodd yr Arglwydd Dduw iw sancteiddrwydd,

wele mai dyddiau a ddaw arnoch ac efe a'ch dwg
chwi ymmaith â drain, a'ch hiliogaeth a bachau pysc-
otta.
g Ezec 12 5 3 g Ewch allan i'r adwyau pob un ar ei gyfer, ac y-
madewch a'r palas, medd yr Arglwydd.
h Ecs 20 4 4 h Deuwch i Bethel, a throsseddwch, i Gilgal, a thros-
5 Ezec 20 seddwch fwy-fwy, dygwch yn foreu eich aberthau, a'ch
39 degymmau wedi tair blynedd.
Deut 14 5 i Offrymwch surdoes [aberth] diolch, cyhoeddwch
28 i Micas 6 [ac] yspyswch aberthau gwir-fodd: canys hyn a hoff-
7 Diar 9 17 wch, meibion Israel, medd yr Arglwydd Dduw.
Dat 17 23 6 A rhoddais iwch lendid dannedd yn eich holl ddin-
asoedd, ac eisieu bara yn eich holl leoedd, ac ni ddych-
welasoch attefi medd yr Arglwydd.
j Act 14 17 7 j Myfi hefyd a luddias i chwi law, pan [oedd] etto
Barn 6 37 dri mis hyd y cynhaiaf, glawiais hefyd ar un ddinas, ac
ni lawiais ar ddinas arall, un rhan a gafodd law, a'r
rhan ni chafodd law a wywodd,
k Ier 5 3 8 k Gwibiodd dwy ddinas neu dair i un ddinas i yfed
Esa 26 10 dwfr ond ni's diwallwyd: etto ni ddychwelasoch at-
tafi medd yr Arglwydd.
l Ioel 1 4 9 l Tarewais chwi â diflanniad, ac â mallder, eich
Diar 24, 31 aml erddi, a'ch gwinllanoedd, a'ch ffigus brennau,
a'ch oliwydd a ysodd y lindis: etto ni throesoch attafi
medd yr Arglwydd.
m Ecs 9 3 10 m Anfonais arnoch haint megis yn ffordd yr Aipht,
6 Ioel 2 20 eich gwŷr ieuaingc a leddais a'r cleddyf, gyd a chaeth-
gludo eich meirch? codais ddrewi eich gwersyllau
i'ch ffroenau: etto ni throesoch attafi medd yr Ar-
glwydd.
n Iudas 11 n Mi a ddymchwelais [rai] o honoch, fel yr ymch-
23 Iob 19 20 welodd Duw Sodoma, a Gomorra, ac yr oeddech fel
pentewyn wedi ei achub o losci: etto ni throesoch
attafi medd yr Arglwydd.
o Iago 1 8 12 o O herwydd hynny y modd ymma y gwnaf it Is-
9 rael, ac o herwydd mai hyn a wnaf it, bydd barod
Israel i gyfarfod a'th Dduw.
p Ioan 2 13 p Canys wele luniwr y mynyddoedd, a chreaw-
25 Preg 12 dur y gwynt, yr hwn a fynega i ddyn beth [yw] ei
14 fyfyrdawd, [ac] a wnaiff y boreu yn dywyll, ac a gerdd
Sal 139 2 Mat 27 45 ar uchelder y tir: Arglwydd Dduw y lluoedd [yw]
ei enw.

## PEN. V.

*1 Y mae y prophwyd yn dangos y tristwch a'r galar a ddoe i Israel. 4 Ac yn eu hannog i droi at Dduw a daioni. 8 Ac yn gosod allan weithredoedd Duw, a dydd eu hymweledigaeth. 21 Yn beio hefyd ar eu gwasanaeth.*

GWRANDEWCH y gair gofidus ymma, 'r hwn a
dderchafaf arnoch tŷ Israel.
q Luc 18 2 q Y weryf Israel a syrthiodd, ac ni chyfyd mwy:
11 Hos 3 5 gadawyd hi ar ei thir, nid [oes] ai cyfyd.
Rhuf 11 3 Canys y modd hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
26 y ddinas a êl allan [â] mil a weddill gant, a'r hon a
êl allan [ar] ei chanfed a weddill ddêc i dŷ Israel.
r Ier 29 13 4 r O herwydd fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth
Diar 3 2 dŷ Israel, Ceisiwch fi, a byw fyddwch.
5 Ac nac ymgeisiwch â Bethel, ac nac ewch i Gilgal,
ac na thrammwywch Beerseba: o herwydd gan gaeth-
gludo y caeth-gludir Gilgal, a Bethel a fydd yn
ddiddim.
6 Ymgeisiwch a'r Arglwydd a byw fyddwch, rhac
iddo ef fyned tros dŷ Ioseph fel tân, ai ddifa, ac na
s Esa 1 10 byddo ai ddiffoddo yn Bethel.
a 5 7 7 s Troi y maent farn yn wermod: a chyfiawnder a
t Iob 9 9 adawant ar y llawr.
1 Bren 18 44 8 t Yr hwn a wnaeth Pleiades, ac Orion, yr hwn a
dry gyscod angeu yn foreu-ddydd, ac a dywalla y
dydd yn nôs: yr hwn a eilw ddyfroedd y môr, ac ai
tywallt ar wyneb y ddaiar: yr Arglwydd [yw] ei enw.
9 Yr hwn sydd yn nerthu dinistrudd yn erbyn y
cryf: fel y delo y dinistrudd ar yr amddeffynfa.
10 Câs ganddynt a geryddo yn y porth, a ffiaidd gan-
ddynt a lefaro yn berffaith.
11 u O herwydd hynny am iwch sathru y tlawd, a u Seph 1
dwyn y baich ŷd oddi arno: chwi a adailadasoch dai 13 Deut 28
o gerric nadd, ac ni thrigwch ynddynt: planasoch 30
winllanoedd blyssiol, ac nid yfwch eu gwin hwynt.
12 v Canys mi a adwen eich anwireddau lawer, a'ch v Sal 50 8
pechodau cryfion, y rhai ydych yn blino y cyfiawn, Diar 17 15
yn cymmeryd iawn, ac yn gŵyro y tlawd yn y porth.
13 w Am hynny y neb a fyddo call a ostega 'r amser w Sal 37 7
hwnnw, canys amser drwg yw. Mica 7 6 Hos 4 17
14 x Ymgeisiwch â daioni, ac nid â drygioni, fel y Esa 50 4
byddoch fyw, ac felly Arglwydd Dduw y lluoedd 2 Tim 3 1 x Mat 6 33
fydd gyd â chwi fel y dywedasoch. a 17 14
15 y Cesewch ddrygioni, a hoffwch ddaioni, a gosod- y Rhuf 12
wch farn yn y porth: galle Arglwydd Dduw y llu- 9 Sal 79 10
oedd fod yn raslawn i weddill Ioseph. a 34 14
16 z Am hynny fel hyn y dywedodd yr Arglwydd z Ier 9 17
[sef] Arglwydd Dduw y lluoedd, Ym mhob heol [y
bydd] tristwch, ac ym mhob prifffordd y dywedant,
*Oh! Oh!* a galwant yr arddwr i dristwch, a galar i'r
neb a fedro alaru.
17 Ac ym mhob gwinllan [y bydd] tristwch, canys
trammwyaf trwy dy ganol di, medd yr Arglwydd.
18 a Gwae y neb sydd yn dymuno dydd yr Arglwydd, a Iob
beth [yw] hwn i chwi? tywyllwch ac nid goleuni yw 1 Pedr 4
dydd yr Arglwydd. 18
19 b Megis pe ffoe gŵr o flaen y llew, ac arth yn b Esa 24
cyfarfod âg ef, a myned i'r tŷ a phwyso ei law ar y 18 Ier 48 44
pared, ai frathu o sarph:
20 Oni [bydd] dydd yr Arglwydd yn dywyllwch ac
nid yn oleuni, yn dywyllwch ac heb lewyrch iddo?
21 c Caseais, a ffieiddiais eich gwyliau, ac nid aroglaf c Esa 1 11
yn eich cynnulleidfaoedd. Diar 21 27
22 Canys er i chwi offrymmu i mi boeth offrymmau,
a'ch offrymmau bwyd, ni fyddaf fodlon, ac nid ed-
rychaf ar hedd offrwm eich pascedigion.
23 d Symmud oddi wrthif luosogrwydd dy ganiadau: d Col 3 16
canys ni wrandawaf beroriaeth dy nablau.
24 e Ond barn a ymdreigla fel dwfr, a chyfiawnder e Iob 23
fel ffrŵd gref. 11
25 f A offrymmasoch chwi i mi aberthau, a bwyd f Ezec 2
offrymmau yn y diffaethwch ddeugain mhlynedd tŷ 13 16
Israel?
26 g Ond dugasoch Siccwth eich brenin, Chiwn he- g Act. 7
fyd eich delwau, [a] seren eich duwiau yr hon a 43 2 Bren 23
wnaethoch iwch eich hunain. 10
27 Am hynny y caeth-gludaf chwi i'r tu hwnt i
Ddamascus medd yr Arglwydd, Duw y lluoedd [yw]
ei enw ef.

## PEN. VI.

*Prophwydoliaeth yn erbyn tywysogion Israel. 8 A siccrwydd o ddialedd iddynt.*

GWAE h y rhai esmwyth arnynt yn Sion, ac sydd h Luc 12
yn ymddiried ym mynydd Samaria, y rhai oedd- 17 Diar 1 32
ynt enwoc yn nechreuad y cenhedloedd: a thŷ Is-
rael a ddaethant attynt hwy.
2 i Trammwywch i Chalneh, ac edrychwch, ac ewch i Nah. 3 8
oddi yno i Hemath fwyaf, a descynwch i Gath y Phi- Ier 2 10
listiaid: ai gwell ydynt na'r teyrnasoedd hyn? ai
helaethach eu terfyn hwynt na'ch terfyn chwi?

jDat 18 7 Mat 24 48 3 j Y rhai ydych yn pellhau y dydd drwg, ac yn
nesau eisteddle trais.
kRhuf 13 13 14 4 k Gorwedd y maent ar welâu Ifori, ac yn ymestyn
ar eu gwâl, ac yn bwyta yr ŵyn o'r praidd, a'r lloi o
ganol y cytt.
lEsa 5 12 Preg 2 8 5 l Y rhai a ddatcanant gyd â llais y nablau dychym-
ygasant iddynt eu hun offer cerdd megis Dafydd.
mIer 4 6 a 50 7 6 m Y rhai a yfant wîn mewn phiolau, ac a ymirant
Rhuf 12 15 â'r olew pennaf, ac nid ymofidiasant am ddryllio Io-
seph.
7 Am hynny 'r awr hon hwynt a ddygir yn gaeth
gyd a'r cyntaf a ddygir yn gaeth: a galar y rhai a
ymestynnant a nessâ.
8 Tyngodd yr Arglwydd Dduw iw enaid ei hûn,
Ffiaidd gennifi draha Iacob, a chaseais ei balasau, a mi
a roddaf i fynu y ddinas ac sydd ynddi, medd Arglwydd
Dduw y lluoedd.
n 2 Bren 13 2 3 4 9 n A bydd os gweddillir mewn un tŷ ddêc o ddynion
Zec 8 23 y byddant feirw.
10 Ei ewythr ai cyfyd i fynu, ac ai llŷsc, i ddwyn yr
escyrn allan o'r tŷ, ac a ddywed wrth yr hwn a fyddo
wrth ystlysau y tŷ, A oes neb gyd â thi? ac efe a ddy-
wed, Nac [oes:] a dywed yntef, Taw, am na [wasanaetha]
coffau enw 'r Arglwydd.
oSeph 1 7 11 o O herwydd wele 'r Arglwydd yn gorchymyn,
ac efe a deru y tŷ mawr â defni, a'r tŷ bychan â
p Esa 55 11 holltau.
Zec 1 6 12 p A rêd meirch ar y graig? a ardd [neb hi] ag
Hos 10 4 ychen? canys troesoch farn yn fustl, a ffrwyth cyf-
iawnder yn wermod.
qDiar 23 5 13 q Llawenychu 'r ydych heb achos gan ddywedyd:
Dan 4 30 O'n nerth ein hun y cymmerasom i ni gryfder.
r Esa 5 5 14 r Ond wele mi a gyfodaf i'ch erbyn chwi tŷ Israel
medd Arglwydd Dduw y lluoedd genhedlaeth, ac
hwynt a'ch gwascant chwi, o'r ffordd yr ewch chwi i
Hemath hyd afon y diffaethwch.

## PEN. VII.

1 *Y mae Duw drwy weledigaethau yn dangos fel yr anrheith-ir Israel.* 10 *Amazia yn athrod Amos.* 17 *Atteb Amos i Amazia.*

sIoel 1 4 Nah 3 15 FEL s hyn y dangosodd yr Arglwydd i mi: sef wele
ef yn ffurfio ceiliogod rhedyn, pan ddechreuodd
yr adledd godi, ac wele adledd wedi lladd [gwair y
brenin [oedd hwn.]
tDat 9 4 Iago 5 18 2 t A phan ddarfu iddynt fwŷtta glas-wellt y tir, yna
y dywedais, Arbed Arglwydd atolwg: pwy a gyfyd
uIago 5 18 Iacob: canys bychan [yw] efe.
3 u Edifarhaodd yr Arglwydd o hyn: ni bydd [hyn]
eb yr Arglwydd.
4 Fel hyn y dangosodd yr Arglwydd Dduw i mi, Sef
wele 'r Arglwydd Dduw yn galw i farn trwy dân: a
v Sal 102 17 difaodd y [tân] y dyfnder mawr, ac a yssodd beth.
Ier 14 9 5 v A [phan] ddywedais, Arglwydd Dduw paid attol-
wg, pwy a gyfyd Iacob? canys bychan [yw] efe.
6 Edifarhaodd yr Arglwydd o hyn, ni bydd hyn
hefyd eb yr Arglwydd Dduw.
7 Fel hyn y dangosodd efe i mi, sef wele 'r Arglwydd
yn sefyll ar gaer [a wnaethpwyd wrth] linin, ac yn ei
law yntef linin.
w 2 Bren 21 13 Esa 34 11 8 w A'r Arglwydd a ddywedodd wrthif, Beth a weli
di Amos? a mi a ddywedais, Llinin: a'r Arglwydd a
ddywedodd, Gosodaf linin ynghanol fy mhobl Israel,
ac ni chwanegaf fyned heibio iddynt mwyach.
9 Uchelfeudd Isaac hefyd a wneir yn anghyfannedd,
a themlau Israel a ddifethir, ac mi a gyfodaf yn erbyn
tŷ Ieroboam â chleddyf.

10 x Yna Amazia offeiriad Bethel a anfonodd at Ie- x Luc 23 2
roboam frenin Israel, gan ddywedyd: Cydfwriadodd Ezra 4 15
Amos i'th erbyn yng-hanol tŷ Israel, ni ddichon y Act 17 16
ddaiar ddwyn ei holl eiriau ef.
11 Canys fel hyn y dywedodd Amos: Ieroboam a
fydd farw trwy 'r cleddyf, ac Israel a gaeth-gludir yn
llwyr allan oi wlad.
12 y Dywedodd Amazia hefyd wrth Amos, Y gweled- yLuc 13 31
ydd, dôs ffô ymmaith i wlad Iuda, a bwytta fara yno,
a phrophwyda yno.
13 Na chwanega brophwydo yn Bethel mwy, canys
cappel y brenin, a llŷs y brenin [yw] hi.
14 z Yna Amos a attebodd, ac a ddywedodd wrth z 2Cor 1 27
Amazia, Nid prophwyd [oeddwn] i, ac nid mab i broph- 1Tim 6 6
wyd [oeddwn] i: namyn bugail [oeddwn] i, a chasel- 8
udd ffigus gwylltion.
15 A'r Arglwydd a'm cymmerodd oddi ar ol y praidd,
a'r Arglwydd a ddywedodd wrthif: Dos, a proph-
wyda i'm pobl Israel.
16 a Ac yr awr hon gwrando air yr Arglwydd, ti a aMat 5 4
ddywedi, Na prophwyda yn erbyn Israel, ac nac Mica 2 6
yngen yn erbyn tŷ Isaac.
17 b Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Dy bIer 28 12
wraig a butteinia yn y ddinas, dy feibion, a'th ferched Galar 4
a syrthiant ar y cleddyf: a'th dîr a rennir â llinin, a 11
thitheu a fyddi farw mewn tîr halogedic, a chan gaeth-
gludo y caeth-gludir Israel oi dir.

## PEN. VIII.

1 *Gweledigaeth yn arwyddocau diwedd brenhiniaeth Israel.* 4 *Traha ar dlodion:* 7 *Dialedd Duw am dyngu i'r gau-dduwiau.*

FEL hyn y dangosodd yr Arglwydd i mi, sef wele
gawelled o ffrwythydd haf.
2 c Ac efe a ddywedodd, Beth a weli di Amos? a mi a c Dat 14
ddywedais, Cawelled o ffrwythydd haf: yna y dywed- 20 a 19 15
odd yr Arglwydd wrthif, Daeth diwedd ar fy mhobl Dat 10 6
Israel, ac nid af heibio mwyach. Ier 5 11
3 Caniadau y deml hefyd a droir i udo ar y dydd
hwnnw medd yr Arglwydd Dduw: llawer o gelanned-
au fyddant ym mhob lle: bwrir hwynt allan yn ddistaw.
4 d Gwrandewch hyn y sawl ydych yn llyngcu yr dSal 14 4
anghenog i ddifa tlodion y tir, Iago 5 6
5 e Gan ddywedyd, Pa bryd yr aiff y mis heibio, fel y eMal 1 13
gwertbom ŷd? a'r Sabboth, fel yr agorom y gwenith, Sal 2 5
a phrinhau'r Epha, a helaethu y Sicl, a gŵyro y clor- Esa 58 13
iannau [drwy] dwyll?
6 f I brynu y tlawd er arian, a'r anghenus er escidiau, fNeh 5 1
ac i werthu gwehilion y gwenith? 5 Lef 25 39
7 Tyngodd yr Arglwydd i ragor-fraint Iacob: nid
anghofiaf byth ei holl weithredoedd hwynt.
8 g Oni chryn y ddaiar am hyn? ac oni alara ei holl gSal 60 2
bresswyl-wŷr? cyfyd hefyd ei gyd fel llif, a bwrir hi Ier 9 12
ymmaith, a hi a foddir megis [gan] afon yr Aipht. Hos 4 1 2
9 h A'r dydd hwnnw medd yr Arglwydd Dduw, y hSal 37 13
gwnaf i'r haul fachludo hanner dydd, a thywyllaf y 1 Thes 5 3
ddaiar [liw] dydd goleu. Mica 3 6
10 i Trôf hefyd eich gwyliau yr alar, a'ch holl gan-
iadau yn oer-nad, a dygaf sach-liain ar yr holl lwyn- iIago 5 3
au, a moelni ar bob pen: ac mi ai gosodaf fel galar
[dros] un mab, ai ddiwedd [fydd] fel dydd chwerw.
11 Wele y mae y dyddiau yn dyfod medd yr Ar-
glwydd Dduw, a mi a anfonaf newyn i'r tîr: nid new-
yn am fara, ac nid syched am ddwfr, onid am wrando jDan 12 4
gair Duw. Esa 5 5 6
12 j Yna y crwydrant o fôr i fôr, a gwibiant o'r gog-

ledd hyd y dwyrain i geisio gair yr Arglwydd, ac ni's
cânt.
13 Y diwrnod hwnnw y gweryfon têg, a'r meibion
ieuangc a ddiffoddant o syched.
k Diar 29 14 k Y neb a dyngant i bechod Samaria, ac a ddywed-
Dat.18 21 ant, Byw yw dy dduw di O Dan: a byw yw ffordd
Beerseba, a syrthiant, ac ni chodant mwy.

PEN. IX.

1 *Dialedd Duw am bechodau Israell.* 11 *Duw oi drugaredd yn arbed ei boll.*

l Bren 13 GWELAIS l yr Arglwydd yn sefyll ar yr allor, ac
Ezec 9 1 efe a ddywedodd, Taro gappan y ddôr, a'r gor-
Sal 139 7 singau a escydwant, a dryllia hwynt oll yn eu pen
blaen: minnef a laddaf a'r cleddyf yn ol, ni ffy o hon-
ynt a geisio ffoi, ac ni ddiangc o honynt a geisio ddi-
angc.
2 Pe cloddient hyd uffern, fy llaw ai tynne hwynt
oddi yno, a phe dringant i'r nefoedd, mi ai descyn-
wn hwynt oddi yno.
m Sal 139 3 m A phe llechent ar ben Carmel, chwiliwn a chym-
12 Ier 37 17 merwn hwynt oddi yno, a phe ymguddient o'm golwg
Sal 11 1 yng-waelod y môr, gorchymynwn i'r sarph eu brathu
a 94 7 hwynt oddi yno.
n Deut 28 4 n Ac os ânt i gaethiwed o flaen eu gelynion, oddi
65 yno y gorchymynnaf i'r cleddyf, ac efe ai lladd hwynt:
Ier 24 6 a gosodaf fyng-olwg yn eu herbyn, er drygioni, ac nid
a 44 11 er daioni [iddynt.]
o Ier 5 22 5 o Ac Arglwydd Dduw y lluoedd a gyffwrdd a'r
ddaiar, a hi a dawdd: a galara pawb a'r a drig ynddi,
a hi a gyfyd oll fel llifeiriant, ac a foddir megis [gan]
afon yr Aipht.
p 2 Cor 12 6 p Yr hwn a adailadodd yn y nefoedd ei gylchau, ac
2 Gen 2 1 a sylfaenodd ar y ddaiar ei gasel [elmentau:] yr hwn a
alwodd ddyfroedd y mor, ac ai tywalltodd ar wyneb y
ddaiar, yr Arglwydd [yw] ei enw.
7 Onid [ydych] chwi meibion Israel i mi fel meibion
yr Ethiopiaid, medd yr Arglwydd? oni ddygais i fynu
feibion Israel o dir yr Aipht, a'r Philistiaid o Cappad-
ocia, a'r Syriaid o Cirene?
8 q Wele lygaid yr Arglwydd ar y deyrnas bechadur- q Act 15
us, ac mi ai difethaf oddi ar wyneb y ddaiar: ond ni 16
ddifethaf dŷ Iacob, medd yr Arglwydd.
9 r Canys wele myfi a orchymynnaf ac a ogrynnaf r Matt 13 Dat 12, 2
dŷ Israel ym mysc yr holl gennedloedd: fel y gogryn-
nir ŷd mewn gogr: ac ni syrth graienyn i'r llawr.
10 s Holl bechaduriaid fy mhobl a fyddant feirw ar y s Esa 33
cleddyf, y rhai a ddywedant, ni ddaw drwg yn agos 14
attom, ac ni ddwg ein blaen.
11 t Y dydd hwnnw y codaf babell Ddafydd yr hon t Hos 3, 5
a syrthiodd, mi a gaeaf ei bylchau, ac a godaf ei had- Act 15, 16
wyan, ac ai hadailadaf fel yn y dyddiau gynt.
12 u Fel y meddianno y rhai y gelwir fy enw arnynt u Esa 19,
weddill Edom, a'r holl genhedloedd medd yr Ar- 25
glwydd, yr hwn a wna hyn. Rhuf 9 25
13 v Wele y dyddiau a ddaw medd yr Arglwydd, y v Hos 2 20
cyffwrdd yr ardd-wr a'r cynhaiaf-wr, a srthrudd y Ioel 3, 18
grawn-win a'r hau-wr, a'r mynyddoedd a ddafnynnant Zec 14 10
felys-win, a'r holl fryniau a doddant. Ioan 4, 35
14 w A dychwelaf gaethiwed fy mhobl Israel, ac adail- w Hos 1,
adant y dinasoedd anghyfannedd, a phresswyliant, a 11
phlannant winllannoedd, ac yfant oi gwin hwynt, Rhuf 11
gwnant hefyd erddi, a bwyttânt eu ffrwyth hwynt. 26 Esa 61 5
15 x Ac mi ai plannaf hwynt yn y tir, ac ni's diwreidd- 21 a 65, 21
ir hwynt mwyach oi tir yr hwn a roddais iddynt medd x Esa 60
yr Arglwydd dy Dduw. 21 Ioel 3 20

*TERFYN LLYFR AMOS.*

LLYFR Y PROPHWYD

# ABDIAS.

PENNOD I.

*Prophwydoliaeth yn erbyn Edom.*

a Mal 1 3 GWELEDIGAETH a Abdias, Fel hyn y dywed yr
Ezec 25 Arglwydd yn erbyn Edom: clywsom air oddi-
12 wrth yr Arglwydd, a chennad a hebryngwyd at y cen-
hedloedd [i ddywedyd,]Codwch, a chyfodwn i ryfela
yn ei herbyn hi.
b Dan 2 2 b Wele mi a'th roddais yn fychan ym mysc y cen-
35 hedloedd, a dibris iawn [wyt.]
c Heb 3 13 3 c Balchder dy galon a'th dwyllodd, ti yr hwn wyt
Dat 18 7 yn trigo yn holltau y graig, [yn] uchelder ei drigfa y
mae yn dywedyd yn ei galon, Pwy a'm tynn fi i'r llawr?
d Esa 14, 4 Ped ymdderchefyt fel yr eryr, a phe rhoit dy nŷth
13 ym mhlith y sêr, mi a'th ddiscynnwn oddi yno, medd
yr Arglwydd.
5 Ai lladron a ddaethant attat? neu yspeilwyr nos?
pa fodd i'th ostegwyd? oni ladrattasent hwynt eu dig-
on? pe daethe cynhull-wyr grawn-win attat, oni
weddilliasent rawn?
6 Pa fodd y chwiliwyd Esau, [ac] y ceisiwyd ei gudd-
feydd ef?
e Sal 55 13 7 e Yr holl wŷr y rhai oedd ammod rhyngot â hwynt
Ier 38 22 a'th yrrasant hyd y terfyn, a'r gwŷr yr oedd heddwch
rhyngot a hwynt a'th dwyllasant, ac a'th orfuant,
[bwyttawyr] dy fara a roddasant archoll danat: nid
[oes] ddeall ynddo.
8 f Oni ddinistaiaf y dydd hwnnw medd yr Arglwydd f Iob 5 12
y doethion allan o Edom, a'r deall allan o fynydd Esau? 13
9 Dy gedyrn di O Theman a ofnant, am y torrir ym-
aith bob un o fynydd Esau gan y lladdfa.
10 g Am y traha [ar] dy frawd Iacob, gwarth a'th g Sal 137 7
orchuddia, a thi a dorrir ymaith byth. Amos 1 11 Mal 1 4
11 h Y dydd y sefaist o'r tu arall, pan gaethgludodd h Ier 52 7
estroniaid ei olud, a myned o ddieithraid iw byrth ef, 8 Phil 1 16
a bwrw coel-brennau am Ierusalem, tithe hefyd oeddit Ioel 3 3
megis un o honynt. Sal 50 18
12 i Ni ddylesit ti edrych ar ddydd dy frawd, pan i Mica 7 8
ddieithriwyd ef, ac ni ddylesit lawenychu yn erbyn Sal 22 17
plant Iuda y dydd y difethwyd hwynt: ac ni ddylesit Matt 7 39
ledu dy safn ar ddydd y cystydd. Iob 31 29
13 j Ni ddylesit ddyfod o fewn porth fy mhobl y j Sal 83 5
dydd y dinistriwyd hwynt, ni ddylesit edrych ar eu Zec 12 3
hadfyd yn nydd eu dinistr, ac ni ddylesit estyn [dy law]
ar eu golud yn nydd eu difethiad hwynt.
14 Ac ni ddylesit sefyll ar y croes-ffyrdd i dorri ym-
maith ei rai diangol ef, ac ni ddylesit ti fradychu y
gweddill o honaw ef ddydd yr adfyd. k Iago 2
15 k Canys agos yw dydd yr Arglwydd ar yr holl 13

cenhedloedd, fel y gwnaethost y gwneir i tithe: dy
wobr a ddychwelir ar dy ben.
16 l Canys megis yr yfasoch ar fy mynydd sanctaidd,
Her 25 15 [felly] 'r holl genhedloedd a yfant yn oestad: yfant, a
1 Pedr 4 17 llyngcant, a byddant fel pe na buasent.
17 m Ac ar fynydd Sion y bydd ymwared, ac y bydd
m Esai 59 Amos 9 13 sancteiddrwydd: a thŷ Iacob a orescyn eu hetifedd-
Ioel 3 19 iaethau hwynt.
18 n Yna y bydd tŷ Iacob yn dân, a thŷ Ioseph yn
n Ioel 3 19 Deut 14 fflam, a thŷ Esau yn sofl, a chyneuant ynddynt, a
24 difant hwynt, ac ni bydd gweddill i dŷ Esau, am i'r
Hebl2 29 Arglwydd [ei] ddywedyd.
19 o Gorescynnant hefyd du dehau i fynydd Esau, a o Rhuf 11 25
gwastadedd y Philistiaid, a gorescynant feusydd Eph- Esa 29 23
raim, a meusydd Samaria, a Beniamin a [orescyn] Gil- Mica 7 11 12
ead.
20 A chaeth-glud y llu hwn o blant Israel [a ores-
cynnant] yr hyn [a fu eiddo] y Canaaneaid hyd Zar-
ephath, a chaethion Ierusalem y rhai [ydynt] yn Seph-
arad a orescynnant ddinasoedd y dehau.
21 p Dring gwaredwyr hefyd fynydd Sion i farnu p Dat. 4, 11 a 11 15
mynydd Esau, a'r frenhiniaeth fydd eiddo 'r Arglwydd. Dan 7 14

*TERFYN LLYFR ABDIAS.*

---

## LLYFR Y PROPHWYD

# IONAS.

### PENNOD. I.

*Ionas yn ffoi tua Tharsis, rhag myned i bregethu i Ninife. 4 Temhestl yn cyfodi fel y gorfu ei fwrw ef i'r môr.*

a Mat 12 40 GAIR a yr Arglwydd a ddaeth at Ionas fab Amit-
tai gan ddywedyd,
2 b Cyfot, dos i Ninife y ddinas fawr, a llefa yn ei
b Seph 2 13 herbyn: canys ei drygioni hwynt a dderchafodd ger
Sal 127 2 fy mron.
Iago 5 4 3 c Ac Ionas a gyfododd i ffoi i Tharsis oddi ger
c Iago 5 1 Gen 16 7 bron yr Arglwydd, ac efe a aeth i wared i Ioppa, ac a
Philem 8 gafodd long yn myned i Tharsis ac a roddes ei phorth-
15 log hi, ac a aeth i wared iddi hi, i fyned gyd a hwynt i
wared i Tharsis oddi ger bron yr Arglwydd.
d Amos 4 13 4 d Yna'r Arglwydd a gyfododd wynt mawr yn y
Diar 16 9 môr, a bu yn y môr ryferthwy mawr, fel y tebygwyd
y dryllie y llong:
5 e Y mor-wyr a ofnasant, ac a lefasant bob un ar ei
e Rhuf 1 20 dduw, a bwriasant yr offer y rhai [oeddynt] yn y llong
Act 27,18 i'r mor er yscafnhau arnynt: ond Ionas a aethe i wared
i gilfachau y llong, ac a orweddase, ac a gyscase.
f Rhuf 13 11 6 f A meistr y llong a ddaeth atto ef, ac a ddywedodd
Sal 66 18 wrtho, Beth [a ddarfu] i ti gyscadur? cyfot, galw ar dy
Dduw: ond odid y Duw [hwnnw] a ystyr wrthym
fel na'n coller.
g Sal 93 15 7 g A dywedasant bob un wrth ei gyfaill, Dewch, a
bwriwn goel-brennau, a mwnnwn wybod o achos pwy
[y mae] y drwg hwn: a bwriasant goel-brennau, a'r
coel-bren a syrthiodd ar Ionas.
h Ios 7 19 8 h A dywedasant wrtho, Attolwg dangos i ni er
Epu 4 25 mwyn pwy [y mae] i ni y drwg hwn? beth [yw] dy
waith? ac o ba le y daethost? pa le [yw] dy wlad? ac
o ba bobl [yr wyt] ti?
i Rhuf 3 12 9 i Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hebræad ydwyf,
Act 27 23 ac ofni yr wyf i Arglwydd Dduw y nefoedd, yr hwn a
wnaeth y mor, a'r sych-dir.
j 1 Pedr 4 17 10 j A'r gwŷr a ofnasant [gan] ofn mawr, ac a ddyw-
edasant wrtho, Pa ham y gwnaethost hyn? (canys y
dynion a wyddent iddo ffoi oddi ger bron yr Argl-
wydd, o herwydd efe a fynegase iddynt:)
k 1 Sam 6 11 k A dywedasant wrtho, Beth a wnawn it i ostegu'r
2 mor oddiwrthym? canys gweithio'r oedd y mor, a
1 Ioan 11 therfysgu.
Act 27 24 12 l Ac efe a ddywedodd wrthynt, Cymmerwch fi,
l Preg 9 18 a bwriwch fi i'r mor, a'r mor a ostega i chwi, canys gwn
1 Cor 9 22 [ddyfod] y rhyferthwy mawr hwn arnoch er fy mwyn i.
a 13 7
Diar 21 30 13 m Er hyn y gwŷr a rwyfasant i ddychwelyd i dir,



ond nis gallent, am i'r mor weithio, a therfysgu yn eu
herbyn hwynt.
14 Llefasant gan hynny ar yr Arglwydd, a dywedas-
ant, Attolwg Arglwydd na ddifether ni am einioes y
gwr hwn, ac na ddyro i'n herbyn waed gwirion: canys
ti O Arglwydd a wnaethost fel y gwelaist yn dda.
15 n Yna y cymmerasant Ionas, a bwriasant ef i'r mor, n Rhuf. 8, 13
a pheidiodd y mor a'i gyffro.
16 o A'r gwŷr a ofnasant yr Arglwydd ag ofn mawr, Sal. 89, 9
ac a aberthasant, [ac] a addunedasant addunedau o Act. 5, 11
i'r Arglwydd. Gen. 8, 10
17 p A'r Arglwydd a ddarparase bysgodyn mawr i p Mat 22,
lyngcu Ionas, ac Ionas a fu ym mol y pyscodyn dri 40
diwrnod, a thair nos.

### PEN. II.

*1 Gweddi Ionas o fol y pyscodyn. 11 A'r Arglwydd yn ei wared ef oddiyno.*

AC q Ionas a weddiodd ar yr Arglwydd ei Dduw o q Sal. 130 1
fol y pyscodyn, a 112, 3
2 r A dywedydd, O'm hing y gelwais ar yr Arglwydd, r Sal 65, 2
ac efe a'm hattebodd: o fol uffern y gwaeddais, a
chlywaist fy llef.
3 s Ti a'm bwriaist i'r dyfnder, i ganol y mor, y llanw s Sal. 32, 4
a'm hamgylchynodd, dy donnau a'th gefn-foroedd a a 42, 7
aethant drosof.
4 t A minnef a ddywedais, Bwriwyd fi o wydd dy ly- t Sal. 31, 22
gaid, er hynny chwanegaf edrych tu a'th Deml sanct- 2 Cron. 4,
aidd. 8
5 Y dyfroedd a amgylchynasant hyd fy enaid, y
dyfnder a ddaeth o'm hamgylch, rhwymodd yr hesc
am fy mhenn.
Descynnais i odrau y brynnau, y ddaiar [a aeth] o'm
hamgylch ai throsolion yn dragywydd: a'm Harglwydd
Dduw a dderchafodd fy einioes o'r ffos.
7 u Pan ymofidiodd fy enaid ynof, coffeais yr Argl- u Sal. 20, 7
wydd, a'm gweddi a ddaeth attat i'th Deml sanctaidd. Esa. 63, 10
8 Y neb a gadwant oferedd celwydd, a wrthodant
eu trugaredd.
9 v A minnef mewn llais clodforedd a aberthaf i ti, v Sal. 50,
talaf fy adduned: iechydwriaeth [sydd] eiddo'r Argl- 14, 23
wydd.
10 w A dywedodd yr Arglwydd wrth y pyscodyn, w Mat. 3, 9
ac efe a fwriodd Ionas ar y tir sych. Act. 12, 9

### PEN. III.

*Ail hebryngiad Ionas i Ninife. 5 Ac edifeirwch y Ninifeaid.*

x1Tim.1 A [x] GAIR yr Arglwydd a ddaeth yr ail waith at
13 Ioan21,15 Ionas, gan ddywedyd,
17 2 [y] Cyfod dos i Ninife y ddinas fawr, a phregetha
yAct.20, 27 iddi y bregeth a lefarwyf wrthit.
Ier. 1,17 3 [z] Ac Ionas a gyfododd, ac a aeth i Ninife yn ol
zSal.119, 67, 71 gair yr Arglwydd, a Ninife ydoedd ddinas fawr iawn
Esa.28,19 o daith tri diwrnod.
4 Ac Ionas a ddechreuodd fyned i'r ddinas daith un
niwrnod, ac efe a lefodd ac a ddywedodd, Deugain
nhiwrnod [fyddant] etto, yna Ninife y gwympir.
aMat. 11 5 [a] A gwŷr Ninife a gredasant i Dduw, a chyhoedd-
21 alt 41 asant ympryd, a gwiscasant sach-liain o'r mwyaf hyd
2Cor. 10, y lleiaf o honynt.
4 bIer.3,13 6 [b] A'r gair a ddaeth at frenin Ninife, ac efe a gyfod-
odd oi frenhin-faingc, ac a ddioscodd oddi am dano
ei frenhin-wisc, ac a roddes am dano liain sach, ac a
eisteddodd mewn lludw.
cIol.2 12 7 [c] Yna y cyhoeddwyd, ac y dywedwyd yn Ninife
Ier. 5, 5 drwy orchymyn y brenin ai bendefigion, gan ddyw-
edyd, Dyn, ac anifail, eidion a dafad, na phrofant
ddim, na phorant, ac nac yfant ddwfr.
8 [d] Gwisced dyn ac anifail sachlen, a galwed ar
dGen. 6. Dduw yn lew, a dattroed pob un oddiwrth ei ffordd
12 Ios. 7, 10 ddrygionus, ac oddiwrth y camwedd yr hwn [sydd]
yn eu dwylo hwynt.
9 Pwy a ŵyr a drŷ Duw, ac ediferhau, a dattroi o
angerdd ei ddig fel na ddifether ni?
eDat. 2,2 10 [e] A gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt, sef
troi o honynt oi ffyrdd drygionus, ac edifarhaodd
Duw o'r drwg a ddywedase y gwnae efe iddynt, ac
nis gwnaeth.

fMat. 20 PEN. IV.

15 *Dig Ionas am esmwythdra Duw iw greaduriaid.*

Luc 15,18 A [f] BU ddrwg iawn gan Ionas [hyn,] ac efe a ddig-
g1Pedr3 7 iodd ynddo ei hun.
Ier. 20,7 Mat. 20, 15 2 [g] Ac efe a weddiodd ar yr Arglwydd, ac a ddyw-
edodd, Attolwg it Arglwydd, oni ddywedais hyn pan
oeddwn yn fyng-wlad? am hynny'r achubais flaen i
ffoi i Tharsis, am y gwyddwn dy fod ti yn Dduw gras-
lawn, a thrugarog, araf i ddig, aml o drugaredd, ac
edifeiriol am ddrwg.
3 [h] Am hynny fy Arglwydd cymmer fy enaid bellach hPreg.7,
oddi wrthif: canys gwell i'm farw na byw. 1
4 [i] A'r Arglwydd a ddywedodd, Ai da yw 'r gwaith, iMat. 20,
ymddigio o honot? 15 Iago 1,19
5 [j] Ac Ionas a aeth allan or ddinas, ac a eisteddodd jEsa. 48,
o'r tu dwyrain i'r ddinas, ac a wnaeth yno gaban iddo 10 Act. 20,
ei hun, ac a eisteddodd dano yn y cyscod, hyd oni 24
wele beth a fydde yn y ddinas.
6 [k] A'r Arglwydd Dduw a ddarparodd Cicaion, ac a kEsa. 57,
wnaeth iddo dyfu tros Ionas i fod yn gyscod uwch ei 17 Amos 6,
ben ef, iw waredu ef oi ofid: a bu Ionas lawen iawn 13
am y Cicaion.
7 A'r Arglwydd a barottôdd brŷf ar godiad y wawr
drannoeth, ac efe a darawodd Cicaion, ac yntef a wyw-
odd.
8 [l] A phan gododd haul, darfu i Dduw ddarparu lSal.121,6
poeth-wynt y dwyrain: a'r haul a darawodd ar ben
Ionas fel y llewygodd, ac y deisyfiodd farw oi enioes,
ac a ddywedodd, Gwell i'm angeu nac enioes.
9 [m] A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Ionas, Ai mMat.5, 22
[gwaith] da yw ymddigio o honot am y Cicaion? ac 1Bren.8,
efe a ddywedodd, Da oedd ymddigio o honof hyd ang- 46
eu.
10 [n] A'r Arglwydd a ddywedodd, Ti a dosturi am y nMat.18,
Cicaion yr hwn ni lafuriaist wrtho, ac ni 's meithrin- 32
aist: mewn noswaith y bu, ac mewn noswaith y darfu.
11 [o] Ac oni thosturiwn i wrth Ninife y ddinas fawr, o2Cor.1, 4
yr hon y mae ynddi mwy nâ deuddec myrdd o ddyn- Ioan 1, 2
ion y rhai ni ŵyddant [ragor] rhwng eu llaw ddehau a 3, 3 4 Iob 40, 5
ai llaw asswy: ac anifeiliaid lawer? a 6, 24

*TERFYN LLYFR IONAS.*

LLYFR Y PROPHWYD

# MICHEAS.

PEN. I.

*Anrhaith Samaria am eu gau-dduwiaeth.*

aIer. 26, G [a] AIR yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Micheas
18 2Cron.36 y Morastiad yn nyddiau Iotham, Ahas, a Hezecia
15 brenhinoedd Iuda: yr hwn a welodd efe am Samaria,
ac Ierusalem.
bDeut32 2 [b] Gwrandewch bobl oll, ystyria dithe y ddaiar ac
1 sydd ynddi, a bydded yr Arglwydd Dduw yn dyst
Sal. 50,1 7 i'ch erbyn, [sef] yr Arglwydd oi Deml sanctaidd.
cEsa. 26, 3 [c] Canys wele'r Arglwydd yn dyfod oi [santaidd] le,
21 Dat.14,19 efe hefyd a ddescyn, ac a gerdd ar uchelderau y ddaiar.
4 A'r mynyddoedd a doddant tano ef, a'r glynnoedd
a ymholltant fel cŵyr o flaen y tân, [ac] fel y dyfr-
oedd a fwrir ar y goriwared.
d Mal. 2, 5 [d] Hyn ei gyd [a fydd] am anwiredd Iacob, ac am
1 2Cron 28 bechod tŷ Israel, beth [yw] anwiredd Iacob? onid Sa-
24 maria? pa rai [ynt] uchel-leoedd Iuda? onid Ierusalem?
eEzec.13 6 [e] Am hynny y gosodaf Samaria yn garnedd faes
14 f Esa 27, [dda] i blannu gwin-llan, a gwnaf iw cherric lithro i'r
9 Dat.9.20 dyffryn, a datcuddiaf ei sylfaenau.
a 16, 10 7 [f] Ai holl ddelwau cerfiedic a ddryllir, ai holl wobr-
au a loscir yn tân, ai holl eulynnod a osodaf yn an-
rheithiedic: o herwydd o wobr putteindra y casclwyd
[hwynt,] ac yn wobr putteindra y dychwelir hwynt.
8 O herwydd hyn galaraf, ac udaf, cerddaf yn noeth,
ac yn llwm, dygaf alar fel dreigiau, a gofid fel cywion
yr estris.
9 [g] O herwydd dolurus yw eu harcholl, canys daeth gEsa.8,7
hyd at Iuda, ac hyd borth fy mhobl hyd Ierusalem. 8
10 [h] Na fynegwch [hyn] yn Gath, gan ŵylo nac 2Bren.18 14
ŵylwch: ymdreiglwch [mewn] llwch dros dŷ Aphra. h2Sam.1,
11 [i] Dos heibio presswyl-ferch Saphir yn noeth 20 Ier. 6 26
warthus: ni ddaw presswyl-ferch Zaanan allan wrth iEsa.29.3
allor Bethezel: cymmer efe gennwch ei sefyllfan. a 47,3
12 [j] Canys trig-ferch Maroth a fydd ddrwg genddi jDat.17,3
am y da, Canys drwg a ddescynn oddi wrth yr Ar- a 19, 20
glwydd ar borth Ierusalem.
13 Presswyl-ferch Lachis rhwym y cerbyd wrth y
buan farch, dechreuad pechod [oedd] hi i ferch Sion,
canys ynot ti y cafwyd anwiredd Israel.
14 Am hynny y rhoddi anrhegion i Moresheth Gath:
tai Achzib [a fyddant] yn gelwydd i frenhinoedd

Israel.
k 1Bren. 15 k Dygaf etto oresgynn-wr i ti presswyl-ferch
17, 4 Maresa, daw hyd Adulam [yr hon yw] gogoniant
a 18, 14 Israel.
a 23, 4 16 l Ymfoela, ac ymeillia am dy blant moethus: he-
lIer. 16,6 laetha dy foelder fel eryr: canys caeth-gludir hwynt
Esa. 3,24 oddi wrthit.

## PEN. II.

*Bygwth ar y bobl am eu chwant, ai traha, ai diystyrwch ar y prophwydi.*

GWAE m a ddychymygo anwiredd, ac a wnelo
mRhuf.1 ddrygioni ar eu gwelau, pan oleuo y boreu-ddydd
10 y gwnant hyn: am ei fod ar eu dwylo.
Ester3,8, 2 Meusydd a chwenychant hefyd, a theiau a dreisiant,
9 ac a ddygant: gorthrymmant hefyd ŵr ai dŷ, dyn ai
Diar. 3, etifeddiaeth.
27 3 n Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele
nSal. 18, yn erbyn y teulu hwn y dychymmygais ddrwg, yr hwn
26 ni thynnwch eich gyddfau o honaw, ac ni rodiwch
Mat 7,2 yn falch: canys amser drygfyd fydd efe.
Sal.50,21 4 Yn y dydd hwnnw y cyfyd [y bobl] ddammeg am
Amos 5, danoch chwi, ac a ofidia ofid gofidus, gan ddywedyd,
13 Gan ddinistrio dinistriwyd ni, newidiwyd rhan fy
mhobl, pa fodd y dug efe oddiarnaf? [ac] y rhannodd
ein meusydd [y rhai oeddynt] iw rhoddi trachefn [i ni?]
5 Am hynny ni bydd i ti a fwrio reffyn coelbren yng-
hynnulleidfa'r Arglwydd.
oAmos2, 6 o Na phrophwydwch [meddant,] prophwydant:
12, a 7,12 ond ni phrophwydant i'r rhai hyn, [ac] ni dderbyn-
13 niant [gywilydd.]
Mat. 7, 6 7 p Oh yr hon a elwir tŷ Iacob, a fyrhaodd Yspryd
Esa. 8,16 yr Arglwydd? ai y rhai hynn [ynt] ei weithredoedd ef?
pIoan 8, oni bydd da fyng-eiriau i'r neb a rodio yn uniawn?
10 8 [Y rhai oeddynt] fy mhobl mau fi ddoe, a godasant
Rhuf. 2, yn y gwrthwyneb yn elyn, dioscant y dilledyn gwych
7 oddi am y rhai a ânt heibio yn llonydd, [fel] rhai yn
Pedr 1, dychwelyd o ryfel.
1
Esa. 59,8 9 Gwragedd fy mhobl a fwriasoch allan o dŷ eu hyf-
rydwch, a dugasoch oddi ar eu plant fy harddwch
byth.
Heb. 4, 10 q Codwch, ac ewch ymmaith, canys nid gorphwys-
fa yw 'r wlad] hon: am halogedigaeth y dinistria hi
er. 3, 2 [chwi,] a'r dinistr fydd cryf.
Esa. 13, 11 r Os un yn rhodio yn y gwynt, a'r celwydd a ddyw-
ed yn gelwyddog, prophwydaf it a'm win, a diod gad-
da. 6 arn: yna y caiff fod yn brophwyd i'r bobl hynn.
Hos. 1, 12 s Gan gasclu i'th gasclaf Iacob oll, gan gynnull
1 cynnhullaf weddill Israel, gosodaf hwynt yng-hyd fel
sa. 63,2 defaid Bozra, fel y praidd yng hanol eu corlan: tryst-
iant rhag [amled] dyn.
Dan. 2, 13 t Daw y rhwygudd i fynu oi blaen hwynt, rhwyg-
4, 35 ant, trammwyant y porth, ac ânt allan trwyddo, a
os. 3, 5 thrammwya eu brenin oi blaen: a'r Arglwydd yn eu
pennau hwynt.

## PEN. III.

*Yn erbyn trais, chwant a hyder y swyddogion a'r prophwydi.*

DYWEDAIS hefyd, Gwrandewch attolwg pen-
naethiad Iacob, a thywysogion tŷ Israel, onid i
Sal.15.4 chwi y [perthyn] gwybod barn?
Rhuf.12, 2 u Casau [y maent] ddaioni, a hoffi drygioni, gan
Amos 5, flingo eu croen oddi am danynt, ai cig oddi wrth eu
hescyrn.
Sal. 14.4 3 v A chig fy mhobl [yw] 'r hyn a fwyttânt, ai croen
Hab.3.12 a flingant oddi am danynt, ai hescyrn a ddrylliant, ac
Diar. 1 a friwant megis i'r crochan, ac fel cig yn y badell.
Esa. 11,5 4 w Yna y llefant ar yr Arglwydd, ac ni's ettyb hwynt,
efe a guddia ei wyneb oddi wrthynt y pryd hwnnw,
am iddynt lygru eu gweithredoedd.
5 x Fel hyn y dywed yr Arglwydd am y prophwydi xAct.20,
sydd yn cefeiliorni fy mhobl, y rhai gan frathu ai dan- 29. 30
nedd a lefant heddwch: a'r neb ni roddo yn eu pen- Esa. 56,
nau hwynt cyhoeddant ryfel yn ei erbyn. 11
6 Am hynny [y bydd] nôs i chwi yn lle gweledigaeth,
a thywyllwch i chwi yn lle prophwydoliaeth: yr haul
hefyd a fachluda ar y prophwydi, a'r dydd a ddua
arnynt.
7 y Yna y gweledyddion a gywilyddiant, a'r proph- yMal 2.8
wydi a wradwyddir, a phawb o honynt a gaeant eu ge- Sal.74.9
nau: am na [rydd] Duw atteb. Amos 8,
8 z Er hyny llawnwyd fi o rym gan Yspryd yr Ar- 11
glwydd, ac o farn a nerth, i ddangos ei anwiredd i zEsa. 58,
Iacob, ai bechod i Israel. 1
9 Gwrandewch hyn attolwg pennaethiaid tŷ Iacob, Iob 32,18
a thywysogion tŷ Israel ffiaidd ganddynt farn, a gŵyro
y maent bob iniondeb.
10 a Adeiladu Sion y maent â gwaed, ac Ierusalem aHab. 2,
ag anwiredd. 12
11 b Ei phennaethiaid a roddant farn er gwobr, ai Ezec.22,
hoffeiriaid a ddyscant er cyflog, a'r prophwydi a 27
brophwydant er arian: etto wrth yr Arglwydd yr ym- b Iudas
gynhaliant, gan ddywedyd: Onid yw 'r Arglwydd i'n 11
plith? ni ddaw drwg i'n herbyn. Tit. 1, 11
12 c Am hynny o'ch achos chwi 'r erddir Sion yn cMat.24,
faes, ac Ierusalem a fydd yn garnedd, a mynydd y tŷ 2
fel uchel leoedd y goedwig. Sal. 107,
34

## PEN. IV.

*Gweledigaeth y cenhedloedd i'r eglwys, dedwyddwch yr eglwys, bod yr Iddewon yn perthyn iddi.*

A BYDD yn niwedd dyddiau i fynydd tŷ 'r Ar-
glwydd fod yn barod ym mhen y mynyddoedd:
ac efe a dderchefir goruwch y bryniau: a phobloedd
a ddylifant atto.
2 d Ie cenhedloedd lawer a ânt, ac a ddywedant, dDat.11
Deuwch, a dringwn i fynydd yr Arglwydd, ac i dŷ 15
Dduw Iacob: ac efe a ddysc i ni ei ffyrdd, ac yn ei lwy- Dan.7,14
brau y rhodiwn: canys o Sion yr aiff y gyfraith allan, eLuc 24,
a gair yr Arglwydd o Ierusalem. 52
3 f Ac efe a farna rhwng pobloedd lawer, ac a ger- Act. 1,8
ydda genhedloedd cryfion hyd ym mhell, a thorrant f1Tim 6,
eu cleddyfau yn geibiau, ai gwaiw-ffyn yn bladuriau, 15
ac ni chyfyd cenhedlaeth gleddyf yn erbyn cenhedl- Dat 19,
aeth, ac ni ddyscant ryfela mwyach. 19 a 20, 2
4 g Onid eisteddant bob un dann ei win-wydden, a gSal. 72,
than ei ffigisbren, heb neb iw dychrynu: canys genau 7
Arglwydd y lluoedd ai llefarodd.
5 Canys yr holl bobloedd a rodiant bob un yn enw
ei dduw ei hun, a ninneu a rodiwn yn enw 'r Arg-
lwydd ein Duw byth, ac yn dragywydd.
6 h Yn y dydd hwnnw medd yr Arglwydd y casclaf hEsa. 35
y gloff, a chynhullaf y wascaredig, a'r hon a ddrygais. 3
7 i A gosodaf y gloff yn weddill, a'r hon a daflwyd Ier.3. 81
ym mhell yn genhedlaeth grêf: a'r Arglwydd a deyr- iEsa. 9,6
nasa arnynt ym mynydd Sion o hyn allan byth.
8 A thithe tŵr y praidd, castell merch Sion, hyd
attat y daw, ac y nesâ 'r arglwyddiaeth bennaf, teyrnas
merch Ierusalem.
9 Pa ham gan hynny y gweiddi di [un] waedd? onid j1Sam.30
oes ynot frenin? a ddarfu am dy gynghorudd, gan i 6
ddolur dy ddal megis gwraig yn escor? Sal. 119,
10 k Ymofidia, a griddfana merch Sion fel gwraig yn 94
escor, o herwydd yr awr hon yr ei di allan o'r ddinas, Galar. 4,
a thrigi yn y maes: ti a ei hyd Babilon, yno ith war- 20
Ioan 16,
15

edir, yno 'r achub yr Arglwydd di o law dy elyn.
l Dan 12, 1 Zec. 14, 1 Ezec. 32, 2 — 11 l Yr awr hon hefyd llawer o genhedloedd a ymgasclant i'th erbyn, gan ddywedyd: Haloger hi, a gweled ein llygaid [hynny] yn Sion.
m Rhuf. 11, 33 Esa. 55, 8 — 12 m Ac ni wyddent hwy feddyl-fryd yr Arglwydd, ac ni ddeallhasant ei amcan: canys efe ai casel hwynt fel yscubau i'r yscubor.
n Esa. 41, 15 Dan. 2, 35 — 13 n Cyfot merch Sion, a dyrna, canys gosodaf dy gyrn yn haiarn, a'th garnau yn brês fel y drylliech bobloedd lawer, a chyssegraf i'r Arglwydd eu golud hwynt, ai cyfoeth i lywydd yr holl ddaiar.

## PEN. V.

*Dinistr Ierusalem, a braint Bethlehem.*

YR awr hon ymfyddina a merch y fyddin, gosododd gynllwyn i'n herbyn: tarawant farn-wr Israel â gwialen ar [ei] lechwedd.
o Mat. 2, 6 Sal. 113, 7 Mat. 1, 21 Ioan 1, 1 — 2 o A thithe Beth-lehem Ephrata, er [dy] fod yn fechan ym mhlith miloedd Iuda, o honot ti y daw allan i mi [un] i fod yn llywydd yn Israel: ai fynediad ef allan [oedd] o'r dechreu, [ac] er dyddiau tragywyddoldeb.
p Hos 3, 3 4 Esa. 7, 14 Ioan 10, 16 — 3 p Am hynny y rhydd efe hwynt [i fynu] hyd amser escor o'r hon a escoro: yna gweddill ei frodyr ef a ddychwelant at feibion Israel.
q Ioan 10, 38 — 4 q Ac efe a saif, ac a bortha â nerth yr Arglwydd, trwy ragoriaeth enw 'r Arglwydd ei Dduw, ac hwynt a drigant: canys yr awr hon efe a fawrheuir hyd eithafoedd y ddaiar.
r Eph. 2, 14 — 5 r A hwn fydd heddwch i ni pan ddel Assur i'n tir ni, a phan sathro o fewn ein palasau: yna cyfodwn yn ei erbyn saith fugail, ac ŵyth o'r dynnion pennaf.
s 2 Thes. 2, 8 Dat. 19, 20 — 6 s Yna y dinistriant dir Assur a'r cleddyf, a thîr Nimrod a'r cleddyf noeth, ac efe a achub rhag Assur pan ddêl i'n tir, a phan sathro ar ein terfynau.
Luc 1, 71 t 1 Cor. 3, 6 2 Cor. 2, 15 Sal. 72, 6 — 7 t A bydd gweddill Iacob ym mysc llawer o bobl fel y gwlith oddiwrth yr Arglwydd, megis defnynnau glaw ar y gwellt glas, yr hwn ni ddisgwil ŵr, ac nid erys ar ddynion.
u Sal. 45, 16 Dat. 5, 5 1 Ioan 5, 4 2 Cor. 10, 4 — 8 u A gweddill Iacob a fydd ym mysc y cenhedloedd yng-hanol pobl lawer, fel llew ym mysc bwyst-filod y goedwic, ac fel cenew llew ym mhlith y preiddiau defaid: yr hwn pan el trwodd a sathr, ac a sclyfaetha, ac ni [bydd] achubudd.
v Gen. 49, 8 — 9 v A'th law a dderchefir yn erbyn dy wrthwynebwyr: a'th holl elynion a dorrir i lawr.
Sal. 45, 3, 5 Dat. 14, 16 — 10 A bydd y dwthwn hwnnw medd yr Arglwydd, i mi dorri ymaith dy feirch, a dinistrio dy gerbydau.
w Ezec. 38, 11 — 11 w Torraf hefyd i lawr ddinasoedd dy wlad, a dymchwelaf dy holl gestyll.
Diar. 10, 18 x Dat 18, 23 — 12 x A thorraf ymaith o'th law y swynion, ac ni bydd it ddewiniaid.
Gal. 3, 1 Esa. 1, 25 27 — 13 Torraf hefyd i lawr dy luniau cerfiedic, a'th ddelwau o'th blith: ac ni chei ymgrymmu mwyach i weithredoedd dy ddwylo dy hun.
14 Diwreiddiaf dy blanwydd o'th fysc hefyd: a dinistriaf dy ddinasoedd.
y Sal. 149, 7 2 Thes. 1, 8 Esa. 6, 11 — 15 y Ac yn fy nig a'm llid y gwnaf ar y cenhedloedd y fath ddialedd a'r na chlywsant.

## PEN. VI.

1 *Dyfyn ar y bobl i atteb i gwyn yr Arglwydd.* 3 *Daioni'r Arglwydd iw bobl.* 6 *Y gwasanaeth y mae Duw yn ei ofyn.* 10 *Anwiredd y bobl.* 13 *Ai cosp.*

GWRANDEWCH attolwg y peth a ddywed yr Arglwydd, Cyfot, ymddadle ar y mynyddoedd, a chlywed y bryniau dy lais.
z Iob 9, 4, 5 — 2 z Gwrandewch y mynyddoedd, a chedyrn sylfeini y ddaiar gŵyn yr Arglwydd, canys [y mae] cŵyn rhwng yr Arglwydd ai bobl, ac efe a ymddadle ac Israel.
3 a Fy mhobl beth a wneuthym i'th erbyn? ar ba — a Ier. 2, 5 Esa. 5, 3 Sal. 51, 4
beth i'th flinais? atteb fi.
4 Canys mi a'th ddygais o dir yr Aipht, ac a'th ryddheais o dŷ y caethiwed, ac a anfonais o'th flaen Moses, Aaron, a Miriam.
5 Fy mhobl cofia attolwg beth a ddychymygodd Balac brenin Moab, a pha atteb a roddes Balaam mab Beor iddo, o Sittim hyd Gilgal, fel y galloch wybod cyfiawnder yr Arglwydd.
6 b A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr — b Ioan 6, 28
ymgrymmaf i'r uchel Dduw? a ddeuafi ger ei fron ef â
phoeth offrymmau, ac â dyniewid?
7 c A foddlonir yr Arglwydd â miloedd o fyheryn? — c Ier. 7, 21 a 19, 5, 6
neu â myrddiwn o ffrydau olew? a roddafi fyng-hyntafanedic [dros] fy anwiredd? [sef] ffrwyth fyng-hroth [dros] bechod fy enaid?
8 d Dangosodd efe it ddyn beth [sydd] dda, a pha — d Col. 3, 12, 2 Cor. 7, 11
beth a gais yr Arglwydd genit? [dim] onid gwneuthur barn, a hoffi trugaredd, ac ymostwng i rodio gyd — Mat. 7, 12
a'th Dduw.
9 e Llef yr Arglwydd a lefa ar y ddinas, a doethineb — e Esai 10, 5 Galar. 3,
a wêl dy enw, gwrandewch y wialen a phwy ai darpar. 7, 35
10 f Y mae etto dryssorau anwiredd o fewn tŷ y gwr — f Ier. 5, 27 Hos 12, 8
anwir, a'r Epha brin, peth ffiaidd.
11 A gyfrifwn yn lân [un] a chloriannau anwir, ac a — Amos 8, 5 Diar. 11, 1
chôd o gerric twyllodrus?
12 g Canys y mae ei chyfoethogion yn llawn trais, — g 2 Tim. 3, 13 Ier. 9, 3
ai thrigolion a ddywedasant gelwydd: a thafod twyllodrus [sydd] yn eu genau.
13 h A minnef hefyd a ddechreuais dy daro [i'th] an- — h Seph. 1, 13
rheithio âm dy bechodau.
14 Ti a fwyttei ac ni'th ddigonir, a'th ostyngiad [fydd] o'th fewn dy hun, peri encilio hefyd ac ni's achubi, a'r hyn a achubech a roddaf i'r cleddyf.
15 Ti a hau, ond ni fedi, ti a sethri 'r oliwŷdd, ond ni 'th irir ag olew, [a gwnei] wîn newydd ac nid yfi win.
16 i Cadw 'r ydych ddeddfau Omri, a holl ddeddfau — i Hos 11 Luc 7, 50
tŷ Ahab, a rhodio 'r ydych yn eu cynghorion: am hynny mi a'th roddâf yn anrhaith, a'th drigolion iw ffeio, a gwarth fy mhobl a ddygwch

## PEN. VII.

1 *Anamled y rhai duwiol.* 5 *Priuned yw ffyddlondeb.* 10 *Cosp gelynion yr eglwys.* 14 *Ai llwyddiant hithe.*

GWAE fi canys ydwyf fel casgliadau ffrwythydd — j Esa. 28, 4 Hos 9, 10
hâf, fel grawn-win y cynhauaf gwin, nid oes
gangen o rawn iw bwytta, fy enaid a flysia.
2 k Darfu am y duwiol ar y ddaiar, ac nid oes un in- — k Sal. 12, 1
iawn ym mhlith dynion, cynllwyn y maent oll am waed, — Esa. 57, 1
pob un sydd yn erlid ei frawd [â] rhwyd.
3 l I wneuthur iawn am ddrygioni eu dwylo, y ty- — l Ier. 3, 5 Hos 4, 18
wysog a ofyn, a'r barn-wr [sydd] er gwobr, a'r hwn sydd fawr [o honynt] dywed yntef lwgredigaeth ei feddwl, felly y plethant ef.
4 m Y goref o honynt [sydd] fel draenen, yr uniona — m Ezec. 2, 6
[yn waeth] na chae drain, dydd dy wilwyr [sef] dy of- — 2 Tim. 3, 1 5
wy sydd yn dyfod, bellach y bydd eu drysni hwynt. — Hos 10, 4
5 Na chredwch i'r cymmydog, nac ymddyriedwch i'r capten, cadw ddrws dy enau rhac yr hon a orwedd yn dy fonwes.
6 n Canys mab a amharcha ei dâd, a'r ferch a gyfyd — n Mat. 10, 35
yn erbyn ei mam, a'r waudd yn erbyn ei chwegr: a — 2 Tim. 3, 3
gelynion gŵr [fydd] dynion ei dŷ.

7 ° Onid mi a edrychaf ar yr Arglwydd, gobeithiaf
o Sal.27.7 ar Dduw fy iechydwriaeth: a'm Duw a'm gwrendu.
p Hab 2.3 8 p Na lawenycha i'm herbyn fyng-elynes, pan syrth-
p Diar 24.16 iwyf cyfodaf, pan eisteddwyf mewn tywyllwch, yr Ar-
Sal.37.24 glwydd a lewyrcha i mi.
q Dat. 18 9 q Dioddefaf ddig yr Arglwydd, canys pechais iw
q Sal.99.9 erbyn: hyd oni farno fyng-hwyn, a gwneuthur i mi
Galar. 1.18 farn, gan fy nwyn allan i'r goleuad, [yno] y gwelaf ei
gyfiawnder.
r Sal. 79.10 10 r A'm gelynes a gaiff weled, a chywilydd ai gorch-
a 115.2 guddia hi yr hon a ddywed wrthif, Mae 'r Arglwydd
Sal. 58.10 dy Duw? fy llygaid ai gwilient hi, bellach y bydd hi
yn sathrfa megis tomm yr heolydd.
s Amos 9.11 11 s Y dydd yr adeiledir dy furoedd, y dydd hwn-
Sal. 2.7 nw yr ymbellhâ y ddeddf.
12 Y dydd hwnnw y daw efe hyd attat o Assur, a'r
dinasoedd cedyrn, ac o'r cadernid hyd y ffrwd, ac o
fôr i fôr, ac o fynydd i fynydd.
13 A'r wlad a fydd yn anrhaith o achos ei thrigolion,
[ac] am ffrwyth eu gweithredoedd eu hun.
t Zec. 11.7 14 t Portha dy bobl a'th fagl, defaid dy etifeddiaeth
Esa 40.11 y rhai ydynt yn trigo yn y goedwig yn unig, porant
yng-hanol Carmel, Basan, a Gilead, megis [yn] y dydd-
iau gynt.
15 u Dangosaf iddo ryfeddodau megis y dyddiau pan u Dat. 16.1, 2, 3
ddaethost allan o dir yr Aipht.
16 v Y cenhedloedd a welant, ac a gywilyddiant, gan v Esa. 26.11
eu holl gryfder hwynt, rhoddant eu llaw ar eu genau,
eu clustiau a fyddarant.
17 w Llyfant y llwch fel sarph, fel pryfed y ddaiar y w Sal. 72.9
dychrynnant o'i llochesau, arswydant rhag yr Argl-
wydd ein Duw ni, a thi a ofnant.
18 x Pa dduw [sydd] fel ty di yn maddeu pechod, ac x Ex. 15.11
yn myned tros anwiredd gweddill ei etifeddiaeth? ni
ddal efe ei ddig byth, canys ewyllysio trugaredd [y
mae] efe.
19 y Efe a ddychwel, ac a drugarhâ wrthym, ac a
ddarostwng ein anwiredd, ac a deifl ein holl bechodau y Jer. 50.20
i ddyfnderoedd y môr. Sal.103.12
20 z Ti a roddi dy wirionedd i Iacob, dy drugaredd z Rhuf. 9.6
[hefyd] i Abraham, yr hwn a dyngaist i'n tadau, er y Luc 1.73
dyddiau gynt.

*TERFYN LLYFR MICHEAS.*

LLYFR Y PROPHWYD

# NAHUM.

## PENNOD. I.

*Dinistr Assyria, ac ymwared Israel.*

a Zeph. 2.13 BAICH a Ninife, llyfr gweledigaeth Nahum yr
Elcosiad.
b Ex. 20.5 2 b Duw [sydd] eiddigus, a'r Arglwydd sydd yn dial,
Dat. 32.35 ac yn berchen llid: dialwr [yw] 'r Arglwydd ar ei
wrthwyneb-wyr, a dal [dig] y mae efe iw elynnion.
c 2 Pedr 3.9 3 c Yr Arglwydd [sydd] hwyrfrydig i ddig, a mawr
Job 9.4 ei rymm, ac ni ddieuoga ['r anedifeiriol,] yr Arglwydd
[sydd] ai lwybr yn y corwynt, ac yn y rhyferthwy, a'r
cwmwl [yw] llwch ei draed ef.
d Ex. 14. 4 d Efe a gerydda y môr, ac ai sych, yr holl ffrydau
Sal. 8.26 a ddiespydda efe: llescaodd Basan, a Charmel, a
llescaodd blodeun Libanus.
e 2 Pedr 3. 5 e Y mynyddoedd a grynant rhagddo, a'r bryniau a
ymollyngant, a'r ddaiar a lysc rhag ei olwg, a'r byd
hefyd, a chwbl ar a drigant ynddo.
f Mal. 3.2 6 f Pwy a saif o flaen ei lid? a phwy a gyfyd yng-
Sal. 94.11 hynddaredd ei ddigofaint? ei lid a dywelltir fel tân,
1 Br. 19.11 a'r creigiau a dynn efe i lawr.
g Sal. 19. 7 g Daionus [yw] 'r Arglwydd, yn noddfa yn erbyn
blinder, ac a edwyn y rhai a ynddiriedant ynddo.
h Dan. 9. 8 h A hedlif y gwnaiff efe drango [ar] ei lle hi, a
Esa. 8.8 thywyllwch hefyd a erlid ei elynnion ef.
i 1 Sa. 2.35 9 Beth a ddychymmygwch yn erbyn yr Arglwydd?
Sal. 68.1 efe a wna drango, ni chyfyd blinder ddwy-waith.
10 i Canys tra 'r ymddyrysc y drain, a thra meddwo
y gwledd-wyr, ysir hwynt fel sofl wedi llawn wywo,
k 2 Br. 23. 11 j O honot y daeth allan a ddychymmyga ddrwg
yn erbyn yr Arglwydd, [sef] cynghorwr drygionus.
l Esa. 10. 12 k Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Pe byddent
Sal. 7.26 heddychol, ac felly murr aml, etto torrir hwynt felly
Esa 10.6 fel yr elo efe heibio: er dy flino ni'th flinaf mwyach.
13 Ac yr awran torraf ei iau ef oddi arnat, a dattodaf
dy rwymau.

14 l Yr Arglwydd hefyd a orchymynnodd o'th blegit l Esa. 14.22
na hauer o'th enw mwyach: torraf o dŷ dy dduw ger- Dat. 18.9
fiedig ar dawdd ddelw, gosodaf dy fedd [yno,] am it Diar. 10.7
fyned yn wael.
15 m Wele ar y mynyddoedd draed yr efangylwr, m Rhuf. 10.15
cyhoeddwr heddwch: cadw di O Iuda dy wyliau, tâl
dy addunedau, nid aiff y drygionus trwyot mwy, cwbl
dorrwyd ef ymmaith.

## PEN. II.

*Gosodir ymma allan oruwchafiaeth y Caldeaid yn erbyn yr Assyriaid*

DAETH n y chwalwr i fynu o flaen dy wyneb, n Esa. 14.16, 17
cadw y castell, edrych ar y ffordd, nertha dy a 10. 8, 11,
lwyni, cadarnhâ dy nerth yn fawr.
2 o Canys dychwelodd yr Arglwydd arderchawg- o Jer. 25.29
rwydd Iacob, fel arderchawgrwydd Israel: canys y Dat. 18,
diespydd-wyr ai diespyddasent hwynt, ac a lygrasant 22, 23
eu canghennau,
3 p Tarian ei [fil-wyr] dewrion a liwiwyd yn gôch, p Esa. 13.3
ei wŷr o ryfel a wiscwyd âg yscarlat, [ei] gerbydau a 63. 1
[fyddant] yn fflamm dân y dydd y byddo ei arlwy, a'r
ffynnidwydd a wenwynwyd.
4 Y cerbydau a gynddeiriogant yn yr heolydd, ac a
ymredant yn y priffyrdd, a [byddant] yw gweled fel
fflammau, ac fel mellt y saethant.
5 q Efe a gofia ei [weision] gwychion, tramgwyddant q Dat. 17.14, a 14.1
wrth gerdded, prysurant at ei chaer hi, parattoiwyd y Dat. 18.8
gorchudd,
6 r Pyrth y dwfr a agorwyd, a'r Deml a ymddatod- r Dat. 16.12
odd.
7 Husab a gaeth-gludwyd, a gwnaed iddi ddringo,
ai morwynion yn ei hanfon, megis â llais colomennod
yn curo eu dwyfronnau.
8 s A Ninife a fu er ys-dyddiau fel llynn o ddwfr: s Hos. 4.19
onid hwynt a ffoant, [dywedant wrthynt,] Sefwch, Dat. 18.15

seswch, ac ni bydd a edrycho.
tDat. 19, 17 9 t Ysclyfaethwch arian, ysclyfaethwch aur, ac nid
oes diwedd ar y da parod, [a'r] gogoniant o bob dod-
refn dymunol.
10 Gwâg, a gorwag, ac anrhaithiedic yw hi, a'r gal-
on yn toddi, a diffrwythdra gliniau, a llescedd ar bob
lwyni, ai hwynebau oll a gasclant barddu.
uEsa. 14, 10 11 u Pa le [y mae] trigfa y llew? a'r borfa yr hon
[sydd] i genawon llew? lle y rhodia y llew ieuangc
a'r hen? yno y trigodd y llew, ac nid [oedd] tarddudd.
vSal.10,8 Ezec. 19, 2 12 v Y llew a ysclyfaethodd ddigon iw genawon, ac
a dagodd ei lewesod, ac a lanwodd âg ysclyfaeth ei
ffau: ai loches âg yspail.
wEsa.52, 13 Dat. 18 8 Iob 20,26 Dat. 8, 6 2Bren.18 17, 19 13 w Wele fi attat medd Arglwydd y lluoedd, ac mi
a loscaf ei cherbydau yn fŵg, a'r cleddyf a ddifa dy
lewod ieuangc: a thorraf ymmaith o'r tir dy ysclyf-
aeth, ac ni chlywir mwy lais dy gennadau.

PEN. III.

*Cwymp Ninife.*

xDat. 17, 6 a 18, 24 1Tim.4 1 2Thes. 2, GWAE x ddinas y gwaed, celwydd ei gyd, a llawn
o yspail [yw:] heb ymado â thrais.
2 [Bydd] sŵn y ffrywyll, a sŵn cynnwrf olwyn, a'r
march yn prangcio, a'r cerbyd yn neidio.
3 Y marchog yn codi ei gleddyf fflamllyd, ai ddis-
clair waiw-ffon, llawer yn glwyfus, a lluosogrwydd o
gelanedd heb ddiwedd ar y cyrph, a thrippiant wrth
eu cyrph hwynt.
yDat 17, 2 a 17, 5 2Pedr2,3 4 y O herwydd aml butteindra y buttein dêg, meis-
tres swynion [serch,] yr hon a werth genhedlaethau
trwy ei phutteindra, a theuluoedd trwy ei swynion.
zEsa. 47, 3 Ezec 16, 37 5 z Wele fi i'th erbyn medd Arglwydd y lluoedd, a
datcuddiaf dy odrau hyd dy wyneb, a gwnaf i gen-
hedloedd weled dy frynti, a theyrnasoedd dy warth.
aMal.2,9 Iudas 7 6 a A thaflaf ffiaidd bethau arnat, gwradwyddaf di
bDat.18, 10 a 18, 2 Ier. 15, 5 hefyd, a gosodaf di fel tomm.
7 b A bydd i bawb a'th welo ffoi oddi wrthit, a dy-
wedyd, Anrheithiwyd Ninife, pwy a dosturia wrthi?
o ba le y ceisiaf ddiddanwr it?
8 c Ai gwell ydwyt na No dylwythoc, yr hon a drig cEzec.30 14, 16
rhwng yr afonydd, ac a ymgylchir â dyfroedd, i'r hon Sal. 33,17
y mae y môr yn glawdd, ai magwyr o'r môr.
9 Ethiopia oedd gadernid, a'r Aipht ac [eraill] heb
ddiwedd: Put a Lubim oeddynt yn gynhorthwy i ti.
10 d Er hynny hi aeth yn gaeth-glud i garchar, ai dIer. 46, 25, 26
phlant a ddrylliwyd wrth gelfi ym mhen pob heol, ac Sal. 149,8
am ei phendefigion y bwriasant goel-brennau, ai holl
bennaethiaid a rwymwyd mewn gefynnau.
11 e Tithe hefyd a feddwi, byddi guddiedic, ceisi eLuc 23 30
hefyd gadernid rhag y gelyn.
12 f Dy holl gestyll a fyddant fel ffigus-wŷdd, yng-hyd fDat.6.13
ai blaen-ffrwyth, os syflir hwynt syrthiant yn safn y a 19, 17, 18
bwyttäwr.
13 g Wele dy bobl yn wragedd yn dy blith, pyrth dy g Ier. 51, 30
dîr a agorir i'th elynnion, tân a yssodd dy farrau. Sal. 78, 9
14 h Tynn it ddwfr gwarche, cadarnhâ dy gestyll, hSal 147, 2
dos i'r domm, sathr y clai, cryfhâ dy odyn briddfaen. Preg. 3, 6
15 i Yno y tân a'th ddifa, a'r cleddyf a'th dyrr i lawr, i1Thes. 2
yssa efe dydi fel pryf y rhwd, [er] it ymchwanegu fel 8
pryf y rhŵd, [ac] ymchwanegu fel y ceiliog rhedyn.
16 j Amlheuaist dy farchnad-wyr rhagor sêr y nef- j Dat. 18, 11, 15
oedd: difwynodd pryf y rhŵd, ac ehedodd.
17 k Dy dywysogion [ydynt] fel y ceiliogod rhedyn, kDat.9.7
a'th lywodraeth-wyr fel Locust y locustiaid y rhai a Ier. 51,27
heidant yn y caeau ar amser oerfeloc: a phan godo yr
haul ehedant ymmaith, ac ni adwaenir eu man lle y
buant.
18 l Dy fugeiliaid brenin Assur a heppiant, a'th ben- lEsa. 49, 19
defigion a orweddant, gwascerir dy bobl ar y mynydd-
oedd, ac ni [bydd] cascludd.
19 m Ni thynnir dy wely yng-hyd, clwyfus yw dy mDat.18,
archoll, pawb a glywe sôn am danat a gurant eu dwylo 20 a19.1,6
arnat: o herwydd ar bwy nid aeth dy ddrygioni bob a 13, 7 a 17, 2
amser? a 18, 3

*TERFYN LLYFR NAHUM.*

## LLYFR Y PROPHWYD

# HABACUC.

PENNOD. I.

1 *Pechod yr Iddewon.* 5 *Duw yn danfon y Caldeaid iw cospi hwynt.* 11 *Dialedd ar y Caldeaid am eu creulonhwynt.*

aIer.20.8 Iob 21, 7 Galar. 2, 8 Y BAICH yr hwn a welodd y prophwyd Habacuc.
2 a Pa hŷd Arglwydd y gwaeddaf ac ni's gwran-
dewi? y bloeddiaf arnat [rhag] trais, ac ni's achubi?
bEsa. 9,4 3 b Pa ham y gwnei i'm weled coegni, ac y peri i'm
edrych ar flinder? anrhaith, a thrais [ydynt] ar fyng-
hyfer, ac y mae a gyfodo ddadl, ac ymryson,
cEsa. 59, 4 Sal. 12, 8 4 c Am hynny y torrir cyfraith, ac nid aiff barn allan,
am fod y drygionus yn amgylchu y cyfiawn: am hyn-
ny cam farn a aiff allan.
dDan. 9, 12 Act.13,41 5 d Gwelwch ym mysc y cenhedloedd, ac edrych-
wch, aruthrwch, [a] rhyfeddwch, canys gweithredaf
weithred yn eich dyddiau ni choeliwch er ei mynegu i
chwi.
e Ier. 50, 23 Esa 5, 26 6 e Canys wele fi yn codi y Caldeaid, cenhedlaeth
chwerw, a phrysur, yr hon a rodio ar hyd lled y tîr i
etifeddu cyfanneddoedd ni [buant] eiddi hi.
7 Y mae iw hofni, ac iw harswydo, o honi ei hun y
daw allan ei barn, ai rhagoriaeth.
8 f Ai meirch fyddant fuanach na'r llewpardiaid: a f Ier.5, 6
llymmach fyddant na bleiddiau 'r hwyr, ei marchogion Seph. 3,3
hefyd a amlhânt, ai marchogion a ddeuant o bell,
ehedant fel eryr yn prysuro at fwyd.
9 g Hi oll a ddaw i dreisio: ar gyfer ei hwyneb y gIoan4,8
[bydd] gwynt y dwyrain, ac hi a gasgl garcharorion Esa 27, 8
fel y tywod.
10 h Ac hi a watwar frenhinoedd, a thywysogion a hEsa. 23,
fyddant watwargerdd iddi, hi a watwar yr holl gestyll, 13 Ier.25,22
ac a gasgl lŵch, ac ai gorescyn.
11 i Yna y newidia hi ysbryd, ac y trosedda [gan ddi- i Esa. 14,
olch am] ei grym ymma iw duw ei hun. 13
12 j Onid [wyt] ti er cynt O Arglwydd fy Nuw, fy j Esa.10,5
Sanctaidd [un?] ni byddwn feirw O Arglwydd, ti ai 6
gosodaist hi er barn, ac ai sylfaenaist O Dduw er cos-
pedigaeth.
13 Ydwyt lanach dy lygaid nâ [gallu] gweled drwg,
ac ni elli edrych ar anwiredd: pa ham yr edrychi ar

yr anffyddloniaid, [ac] y tewi pan lyngco 'r anwir [un]
cyfiawnech nag ef ei hun?
14 Ac y gwnei ddynion fel pysc y môr, fel yr ym-
lusciaid heb lywydd iddynt?
k Dan. 4, 17 15 k Cyfyd hwynt oll ai fâch, casgl hwynt yn ei rwyd,
a chynnull hwynt yn ei fagl: am hynny efe a lawen-
ycha ac a ymddigrifa.
Hob 1,5 a 45, 4, 5 a 57, 24 16 l Am hynny 'r abertha efe iw rwyd, ac a lysc
arogl darth iw fagl: canys trwyddynt hwy y mae ei
Diar. 1, 31 ran yn dew, ai fwyd yn frâs.
17 m A gaiff efe gan hynny danu ei rwyd? ac nad
m Ier. 25, 9 arbedo ladd cenhedlaethau bob amser?
Dat. 17, 2

## PEN. II.

*Gweledigaeth yn erbyn balchder, Chwant meddwdod a gau-dduwiaeth*

n Esa. 21, 8 SAFAF n ar fy nisgwilfa, ac ymsefyllaf ar y castell,
Sal 73, 16 ac edrychaf i weled beth a ddywed efe wrthif, a
17 a 85, 8 pha beth a atebwyf im cerydd-wr.
Hos. 1, 2 2 o A'r Arglwydd a attebodd, ac a ddywedodd,
o Dan. 12, 7 Scrifenna y weledigaeth, ac yspysa ar lechau, fel y
Heb. 10, 37 rhedo yr hwn ai darlleno.
Sal. 102, 13 3 Canys y weledigaeth [sydd] etto dros amser gosod-
edic, ac a ddywed o'r diwedd, ac ni thwylla, Os erys,
disgwyl am deni, canys gan ddyfod y daw [ac] nid
oeda.
p Luc 18, 11 4 p Wele [yr hwn] a ymchwydda nid [yw] iniawn ei
Phil. 3, 6, 8 enaid ynddo, ond y cyfiawn a fydd byw trwy ei ffydd
ei hun.
Rhuf. 1, 17 5 q A hefyd gan fod y gŵr balch yn pechu [ar] wîn,
Heb. 10, 38 am hynny ni pheru, yr hwn a helaetha ei feddwl fel
q Dat. 17, 9 uffern, ac yntef fel angeu ni's digonir: onid efe a gascl
Esa. 21, 5 atto 'r holl genhedlaethau, ac a gynnull atto 'r holl
a 5, 14 bobloedd.
r Esa. 14, 9 10 6 r Oni chodant hwythau oll yn ei erbyn ddihareb, a
1 Bren. 6, gair dû iddo? a dywedyd, Gwae a helaetho y peth
9, 10 nid [yw] eiddo ef: (pa hyd ?) ac a lwytho arno y
clai tew.
s Dat 18, 8 7 s Oni chyfyd yn ddisymmwth y rhai a'th frathant?
ac oni ddeffru y rhai a'th chwalant? ac oni byddi yn
wasarn iddynt?
8 Am it yspeilio cenhedlaethau lawer, holl weddill y
bobloedd a'th yspeilia dithe: am waed dynion, a thrais
[ar] y tir, y ddinas ac oll a drigant ynddi.
t Ier. 22, 13 9 t Gwae a elwo elw drwg iw dŷ, i osod ei nyth yn
Obad. 4 uchel i ddiangc o law y drwg.
Sal. 49, 11 10 Cymmeraist gyngor gwarthus i'th dŷ dy hun: wrth
ddestruwio pobloedd lawer, a phechaist yn erbyn dy
enaid.
11 O herwydd y garrec a lefa o'r mûr, a'r trawst a et-
tyb o'r [gwaith] coed.
12 Gwae a adailado dref trwy waed, ac a ddarparo
ddinas mewn anwiredd.
u Ier. 51, 58 13 u Wele onid oddi wrth Arglwydd y lluoedd y
Esa 50, 11 daw i'r bobl ymflino mewn tân? ac i'r cenhedlaeth-
au ymddeffygio mewn coegni.
14 Canys y ddaiar a lenwir o wybodaeth gogoniant
yr Arglwydd, fel y toa y dyfroedd y môr.
v Dat. 17, 2 15 v Gwae a roddo ddiod iw gymydog gan gyd-osod
Gen. 9, 21 dy gostrel, ai feddwi hefyd er cael gweled ei noethni.
w Dat. 18, 2 16 w Digonwyd ti o warth, yn lle gogoniant, ŷf dithe
Phil. 3, 19 hefyd, ac ymnoetha: ymchwelir cwppan deheulaw 'r
Arglwydd arnat ti, a chwdiad gwarth ar dy ogoniant di.
17 Canys trais Libanus a'th anhudda, ac anrhaith yr
anifeiliaid [yr hwn] ai dychryn hwynt: o achos gwaed
x Ier. 10, 4 dynion, a thrais y tir, y dref ac oll a drigant ynddi.
Zec. 10, 2 Sal. 115, 5 18 x Pa les a wnaiff delw gerfiedic? canys ei lluni-wr
ai lluniodd yn ddelw, ac yn athro celwydd: o her-
wydd y lluni-wr a ymddyried yn ei waith ei hun, pan
wnelo eulynnod mudion.
19 Gwae a ddywedo wrth brenn, Deffro, wrth garrec
fûd, Cyfot, efe a rydd ddysc, wele gwiscwyd ef âg
aur, ac arian: a dim anadl nid [oes] ynddo.
20 y Ond yr Arglwydd [sydd] yn ei Deml sanctaidd: y Zec. 2, 13
y ddaiar oll gostega ger ei fron ef. Amos 6, 10

## PEN. III.

*Gweddi Habacuc.*

GWEDDI Habacuc y prophwyd dros anwybodaeth-
au.
2 z Clywais O Arglwydd dy air [ac] ofnais, O Ar- z Sal. 85, 6
glwydd bywha dy waith yng-hanol y blynyddoedd, a 90, 13 17 Galar. 3,
pâr di ei wybod yng-hanol y blynyddoedd, yn [dy] 55
gyffro coffa drugarhau. Sal. 103, 9, 11
3 Duw sydd yn dyfod o Theman, a'r sanctaidd o fy-
nydd Paran, *Selah*. Ei foliant a doa y nefoedd, a'r
ddaiar a lanwyd oi fawl.
4 Ai lewyrch oedd fel goleini, [oedd] cyrn iddo oi
law ei hun: ac yno [yr oedd] cuddiad ei gryfder.
5 a Aeth haint oi flaen ef, ac aeth marwor allan o a Num. 14
flaen ei draed ef. 12
6 b Safodd a mesurodd y ddaiar, edrychodd, a ddatod- b Act. 17,
odd y cenhedloedd: mynyddoedd tragywyddol hefyd 26
a ddrylliwyd, a brynau oesol a grymmasant, llwybrau
tragywyddawl [ydynt] iddo.
7 c O herwydd anwiredd gwelais wersyllau Tuwsan, c Num 22
crynodd llennau tir Midian. 3
8 A sorrodd yr Arglwydd wrth yr afonydd? ai wrth
yr afonydd [y mae] dy ddig? ai wrth y môr [y mae]
dy ddigofaint gan it farchogeth ar dy feirch? dy ger-
bydau a ddugasant iechydwriaeth.
9 d Llwyr noethwyd dy fŵa, llwon y llwythau hefyd d Num. 20
[oeddynt] wir, *Selah*. Holldaist y ddaiar ag afonydd. 10, 11 1 Cor. 10,
10 Y mynyddoedd a'th welsant [ac] a grynasant, y 4
llifeiriant dwfr a aeth heibio, y dyfnder a wnaeth
dwrf: cyfododd [hefyd] ei ddwylo yn uchel.
11 e Yr haul [a'r] lleuad a safodd yn eu presswylfa, e Ios. 10,
wrth oleuad dy saethau yr aethant, [ac] wrth lewyrch 12, 13
discleirder dy waiw-ffyn.
12 f Yn dy lid y sethri y ddaiar, a dyrni y cenhedl- f Mica 4,
oedd yn dy ffromder. 13
13 Aethost allan er iechydwriaeth dy bobl, er iech-
ydwriaeth yng-hyd a'th eneiniog, torraist y pan oddl
wrth dŷ 'r anwir hyd y gwddf: gan ddinoethi y sylfaen.
*Selah*.
14 g Gwanaist ben ei faes-drefydd âi ffynn ei hun, g Esa. 18, 2
rhyferthwyasant i'm gwascaru, ymlawenhasant megis Barn. 7,
i fwytta y tlawd mewn dirgelwch. 22
15 h Rhodiaist â'th feirch ar y môr [ar] dwrr o ddyfr- a 7, 9, 7 Sal. 1?, 7
oedd lawer. h Ios. 3, 13 Sal. 77, 19
16 i Clywais, a'm bol a ddychrynodd, fyng-wefusau i Sal. 119,
a grynasant wrth y llef: daeth pydredd i'm hescyrn, 120
ac yn fy lle y crynais, am fod yn llonydd ddydd tra- 1 Pedr 4,
llod, pan dderchafo [y gelyn] at y bobl, yn lluoedd y 17
difetha efe hwynt.
17 Canys y ffigus-bren ni flodeua, ac ni [bydd]
ffrwyth ar y gwin-wydd, gwaith yr oli-wydd a balla,
a'r meusydd ni roddant fwyd: torrir ymaith y praidd
o'r gorlan, ac ni [adewir] eidion yn eu beudai.
18 j Onid mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, mi a j Rhuf. 8,
fyddaf hyfryd yn Nuw fy iechydwriaeth. 3, 28 Iago 1, 2
19 k Yr Arglwydd Dduw [yw] fy nerth, a'm traed a k Sal 27, 1
osododd efe fel [traed] ewigod: ac a wnaeth i'm rodio
ar fy uchel leoedd. At y pencerdd ar y Neginoth.

*TERFYN LLYFR HABACUC.*

LLYFR Y PROPHWYD

# SOPHONIA.

## PENNOD I.

*Bygwth y mae efe Iuda ac Ierusalem, am eu gau-dduwiaeth.*

l Amos 3, 7 2 Cron. 36, 15 GAIR [l] yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Sophon-
ia fab Cusi fab Gedaliah fab Amariah, fab Heze-
ciah, yn amser Iosia fab Amon brenin Iuda.

m Dat. 14, 18, 20 2 [m] Gan ddestruwio y destruwiaf bob dim oddi ar
wyneb y ddaiar, medd yr Arglwydd.

n Hos. 4, 3 Ier. 4, 23, 27 Mat. 13, 41 3 [n] Destruwiaf ddyn, ac anifail, destruwiaf adar yr
awyr, a physc y môr, a thramgwydd a ddilyn yr an-
nuwiolion, a diwreiddiaf ddyn oddi ar wyneb y ddaiar,
medd yr Arglwydd.

4 Estynnaf hefyd fy llaw ar Iuda, ac ar holl bres-
swylwyr Ierusalem: a diwreiddiaf o'r lle hwn weddill
Baal, [ac] enw y Cemariaid, a'r offeiriaid.

o Neh. 13, 24 Dat. 3, 16 2 Pedr 2, 21 5 [o] Felly y neb a ymgrymmant ar nennau y tai i lû y
nefoedd, a'r addolwyr a dyngant i'r Arglwydd, a
hefyd a dyngant i Malchom.

p Hos. 7, 7 Mica 7, 9 6 [p] A'r rhai a giliant oddi ar ol yr Arglwydd, a'r
rhai ni cheisiant yr Arglwydd, ac nid ymgynghorant
âg ef.

q Hab. 2, 20 Dat. 19, 17 7 [q] Gostega ger bron yr Arglwydd Dduw, canys agos
yw dydd yr Arglwydd, o herwydd arlwyodd yr Ar-
glwydd aberth, galwodd ei wahaddedigion.

Iago 5, 5 8 A bydd ar ddydd aberth yr Arglwydd i'm ymwel-
ed, â'r tywysogion, ac â phlant y brenin, ac â phawb
a wiscant wiscoedd dieithr.

r Act. 16, 19 9 [r] Ymwelaf hefyd â phawb a neidiant dros y rhin-
ioc y dydd hwnnw, y sawl a lanwant dŷ eu meistr â
thrais, ac â thwyll.

s Hab. 2, 9 Ier. 39, 3 10 [s] A'r dydd hwnnw medd yr Arglwydd, y bydd
llais gwaedd o borth y pyscod, ac udo, o'r ail [porth,]
a dryllio mawr o'r bryniau.

t Iago 5, 1 Dat. 18, 11, 12 11 [t] Udwch bresswylwyr y glyn, canys anrhaithiwyd
yr holl farchnadyddion, a diwreiddiwyd holl glud-
wyr arian.

u Ier. 48, 11 Amos 6, 1 Sal. 119, 70 12 [u] A'r amser hwnnw y chwiliaf Ierusalem â llusern-
au, ac yr ymwelaf â'r dynion sydd yn ceulo ar eu
sorod, y rhai a ddywedant yn eu calonnau, Ni wnaiff
yr Arglwydd dda, ac ni wnaiff ddrwg.

13 Am hynny eu cyfoeth aiff yn yspail, ai teiau yn
anghyfannedd, adailadant hefyd dai, ac ni's presswyl-
iant, a phlannant winllannoedd, ac nid yfant o'r gwin.

v Dat. 6, 17 14 [v] Agos yw mawr ddydd yr Arglwydd, agos a
phrysur iawn, chwerw yw llais dydd yr Arglwydd,
yna y bloeddia y dewr.

w Ier. 30, 5 Amos 5, 18 15 [w] Diwrnod llidioc yw'r diwrnod hwnnw, diwr-
nod blin, a thrist, diwrnod dinistr a destruw, diwrnod
tywyllwch a niwl, diwrnod cwmylau, a thywyllni.

x Dat. 8, 7 a 9, 1, 13 a 11, 15 16 [x] Diwrnod udcorn ac alarwm, yn erbyn y dinas-
oedd caeroc, ac yn erbyn y tŷrau uchel.

y Sal. 79, 3 a 83, 10 17 [y] Yna y cyfyngaf ar ddynion, ac hwy a rodiant
megis deillion, am bechu o honynt yn erbyn yr Ar-
glwydd, ai gwaed a dywalltir fel llwch, ai cnawd fel
tomm.

z Diar. 11, 4 Ezec. 7, 19 Dat. 18, 17 18 [z] Nid eu harian, nai haur ychwaith a ddichon eu
hachub hwynt ar ddiwrnod llid yr Arglwydd, onid â
thân ei eiddigedd ef yr yssir yr holl dir: canys
gwnaiff yr Arglwydd dranc prysur ar holl bresswyl-
wyr y ddaiar.

## PEN. II.

*Y mae yn eu cynghori i edifarhau, gan ddangos dialedd Duw i'r neb ni's gwnelo.*

YMGESGLWCH, [a] a deuwch yng-hyd genhedl- a Esa. 1, 13
aeth anhawddgar. Sal. 119, 119

2 [b] Cyn iddo ddwyn ei amcan i ben, [cyn] i'r dydd
fyned heibio fel peisswyn, cyn dyfod arnoch lid digof- b Preg. 8, 11
aint yr Arglwydd, cyn dyfod arnoch sorriant yr Ar-
glwydd,

3 [c] Ceisiwch yr Arglwydd holl waredigion y ddaiar, c Sal. 149, 4
y rhai sydd yn gwneuthur ei farn ef ceisiwch gyfiawn- Ezec. 9, 4
der, ceisiwch warder, fe alle y cuddir chwi yn nydd 5
digofaint yr Arglwydd.

4 [d] Canys bydd Azza wrthodadwy, ac Ascalon yn d Ier. 6, 4
anghyfannedd, teflir allan Asdod hanner dydd, a di- Luc. 12, 47, 48
wreiddir Accaron.

5 [e] Gwae bresswylwyr glann y môr, [sef] cenhedlaeth e Ezec. 25, 16
y Cerethiaid: [daw] gair yr Arglwydd i'ch erbyn: O Ios. 13, 3
Canaan gwlad y Philistiaid mi a'th ddifethaf, fel na Ier. 47, 1
byddo cyfaneddwr [ynot.]

6 A bydd glann y môr yn fythod tywyrch y bugeil-
iaid, ac yn gorlannau y defaid,

7 [f] A bydd yn rhan i weddill tŷ Iuda, ymborthant f Esa. 11, 14
arnynt, yn nheiau Ascalon y gorweddant yn yr hwyr: Act. 8, 26
canys yr Arglwydd eu Duw a ymwêl â hwynt, ac a Col. 2, 14
ddychwel eu caethiwed.

8 Clywais wradwyddiad Moab, a chabledd meibion
Ammon a'r hwn y gwradwyddasant fy mhobl, ac a
ymfawrygasant ar eu terfynau hwynt.

9 [g] Am hynny [os] byw ydwyf medd Arglwydd y g Sal. 107, 34
lluoedd Duw Israel, fel Sodoma y bydd Moab, a meib-
ion Ammon fel Gomorra, diffaethle y ddanhadlen, a
phylleu halen, ac anghyfaneddle tragywyddol: gwe-
ddill fy mhobl ai difroda, a gweddill fyng-henhedl-
aeth ai meddianna hwynt.

10 Hyn a ddaw iddynt am eu balchder, am iddynt
wneuthur dirmyg, ac ymfawrygu ar bobl Arglwydd y
lluoedd.

11 [h] Ofnadwy a fydd yr Arglwydd iddynt, canys efe h Hos. 2, 17
a ddifetha holl dduwiau y ddaiar, a holl ynysoedd y 1 Tim. 2, 8
cenhedloedd ai addolant ef bob un oi fann. Mal. 1, 11

12 Chwithau hefyd yr Ethiopiaid a leddir â'm cleddyf
mau fi [gydâ] hwynt.

13 Ac efe a estyn ei law ar y gogledd, ac a ddifetha
Assur, ac a rydd Ninife yn anghyfannedd [ac] yn sych
fel y diffaethwch.

14 [i] Minteioedd, a holl anifeiliaid y cenhedloedd a i Esa. 13, 21, 22
orweddant yn ei chanol hi, y pelican a'r ddylluan a 23, 11
hefyd a letteuant ar gap y drws, llais a gân yn y ffe-
nestr, anrhaith [a fydd] yn yr orsing, canys dinoeth-
wyd y cedr-wydd.

15 [j] Hon yw'r ddinas hoiwfryd y sydd yn trigo mewn j Dat. 13, 8
diofalwch, yn dywedyd yn ei chalon, Myfi [sydd,] ac a 18, 7
nid [oes] onid myfi, pa fodd yr aeth yn anghyfannedd Esa. 36, 20
orweddfa anifeiliaid? pawb a'r a êl heibio iddi a ffeia, Sal. 58, 7
ac a escwyd ei law arni.

## PEN. III.

1 *Prophwydo y mae yn erbyn Ierusalem, ai swyddogion.* 8 *Galwedigaeth y cenhedloedd.* 11 *A chysur i weddill Israel.*

GWAE [k] 'r fudr a'r halogedig ddinas orthrymmus, k Mica 3, 9
2 Ni wrandawodd ar y llef, ni dderbyniodd gosp, Ier. 5, 26
nid ymddyriedodd yn yr Arglwydd, ni nessaodd at ei
Duw. l Ier. 5, 6

3 [l] Ei swyddogion oi mewn yn llewod rhuadwy, ei Hab. 1, 8

barn-wyr yn fleiddiau yr hwyr ni adawant ascwrn
erbyn y boreu.
m Galar. 4 m Ai phrophwydi [ydynt] yn yscafn, yn wŷr an-
2, 14 ffyddlon, ei hoffeiriaid a lygrasant y cyssegr, treisias-
ant y gyfraith.
n Mica 3, 5 n Yr Arglwydd cyfiawn yn ei chanol ni wnaiff an-
11 Amos 3,2 wiredd, yn foreu foreu y rhydd ei farn yn oleuni, ni
5 phalla, onid yr anwir ni fedr gywilyddio.
o 1 Cor. 10 6 o Drylliais y cenhedloedd, eu tyrau sydd anghyfan-
6 nedd, diffeithiais eu heolydd, fel nad elo neb heibio,
eu dinasoedd a ddifwynwyd heb wr nac heb drigian-
nol.
p Sal. 119 7 p Dywedais, Ofna fi, derbyn gosp, felly ei thrigfa
120 ni ddiwreiddir er yr hyn oll a ymwelais â hi: etto
a 81, 13, 14 boreu godasant, [a] llygrasant eu holl weithredoedd.
q Mica 7, 8 q Am hynny disgwiliwch arnafi medd yr Arglwydd
7 Ioel 3, 12 hyd y dydd y cyfodwyf i'r sclyfaeth, canys fy marn
Dat. 16,14 [sydd] ar gymmell y cenhedloedd, ar gasclu y teyrnas-
oedd i dywallt arnynt fy llid, holl angerdd fy nigof-
aint: canys â thân fy eiddigedd yr yssir yr holl ddaiar.
r Zec. 13, 9 r O herwydd yna y troaf wefusau fy mhobl yn lân
7 Esa. 1,25 fel y galwo pob un o honynt ar enw'r Arglwydd i'w
a 19, 18 wasanaethu ef âg un yscwydd.
Hos. 2,16 10 s O'r tu hwnt i afonydd Ethiopia y dwg fyng-
s Esa. 60, 4 weddi wraig (merch fyng-wascaredic) fy offrwm.
Act. 8,27 11 t Y dydd hwnnw ni'th wradwyddir am dy holl
t Hos. 5,8 weithredoedd yn y rhai y pechaist i'm herbyn, canys
Ioan 4,21 yna y symudaf o'th blith y neb sydd yn hyfryd gan-
ddynt dy draha, ac ni chwanegi orfoleddu mwyach
yn fy mynydd sanctaidd.
12 u Gadawaf ynot hefyd bobl druain dlodion, ac yn u Esa. 14,
enw'r Arglwydd y gobeithiant. 32 Iago 2, 5
13 v Gweddill Israel ni wnaiff anwiredd, ac ni ddy- v Ioan 3,
wedant gelwydd, ac ni cheir yn eu geneuau dafod 9 Esa. 63,8
twyllodrus, canys hwynt a borthir, ac a orweddant,
ac ni [bydd] tarfudd.
14 w Merch Sïon cân, Israel crechwenna, merch Je- w Esa. 30,
rusalem ymlawenycha, a gorfoledda â'th holl galon. 29 a 35,10
15 x Symmudodd yr Arglwydd dy farn, bwriodd x Dat. 19,
allan dy elynnion: yr Arglwydd brenin Israel [sydd] 20 1 Tim. 6,
i'th blith, nac ofna ddrwg mwyach. 15
16 Y dydd hwnnw y dywedir wrth Ierusalem, Nac
ofna, [wrth] Sïon, Na ddiffrwythed dy ddwylo.
17 y Yr Arglwydd dy Dduw yn dy blith yn gadarn a y Esa. 62,
achub, efe a gân it mewn llawenydd, efe a lonydda yn 5 Ier. 32.41
ei gariad, efe a ymddigrifa ynot dann ganu. Eph. 1. 6
18 z Wedi amser terfynedic y casclaf o honot y rhai Mat. 17,5 z Rhuf. 11
a fuant gystuddiedic, a'r rhai a ddugasant y gwrad- 25
wydd drosti hi. Hos. 1,11
19 a Wele mi a ddifethaf yr amser hwnnw bawb a'th a Esa. 25,
flinant, ac a achubaf y gloff, a chasclaf y wascaredic, 10 Ioel 3, 2
ac ai gosodaf yn glodfawr, ac yn enwoc yn holl dir eu
gwarth.
20 b Yr amser hwnnw yr arweiniaf chwi, a'r amser b Esa. 11
hwnnw i'ch casclaf chwi: canys rhoddaf chwi yn en- 12 Sal. 9, 35
woc, ac yn glodfawr ym mysc holl bobl y byd, pan Tit. 1, 2
ddychwelwyf eich caethiwed ger eich bron, medd yr
Arglwydd.

*TERFYN PROPHWYDOLIAETH SOPHONIA.*

---

## LLYFR Y PROPHWYD

# AGGEUS.

### PENNOD I.

*Dannod y mae efe nad adeiladasent Deml yr Arglwydd.*

c Ezra 4, YN c yr ail flwyddyn i'r brenin Darius yn y chwech-
24 a 5, 1 ed mis, ar y dydd cyntaf o'r mis y daeth gair yr
a 1, 8 a 2 Arglwydd trwy law Aggeus y prophwyd at Zorobabel
63 fab Salathiel tywysog Iuda: ac Iosua fab Iosedec yr
arch-offeiriad gan ddywedyd,
d Diar. 26 2 d Fel hyn y llefarodd Arglwydd y lluoedd gan
16 Ezra 4,23 ddywedyd, Y bobl hyn a ddywedant, Ni ddaeth [yr]
amser, [sef] pryd adeiladu tŷ'r Arglwydd.
e Marc 3, 3 e Yna y daeth gair yr Arglwydd trwy law Aggeus
5 y prophwyd gan ddywedyd,
f Phil. 2, 4 f Ai amser [yw] i chwi eich hunain drigo yn eich
21 2 Sam. 7,2 tai byrddiedic: a'r tŷ hwn yn anghyfannedd?
5 Fel hyn gan hynny y dywed Arglwydd y lluoedd:
Yr awran ystyriwch eich ffyrdd.
g Deut. 6 g Hauasoch lawer, a chludasoch ychydig, bwyttas-
28, 38 Mica 6 14 och, ond nid hyd ddigon: yfasoch, ac nid hyd fod yn
ddiwall: gwiscasoch [bob un] ac nid hyd glydwr iddo,
a'r hwn a ymgyflogo sydd yn casclu cyflog i gôd dylloc.
h Galar. 3 7 h Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Ystyr-
40 1 Cor 13,5 iwch eich ffyrdd.
Neh. 3, 8 i Derchefwch i'r mynydd, a dygwch goed, ac ad-
2 1 Pedr 2, ailedwch y tŷ, a mi a ymfodlonaf ynddo, ac i'm gogon-
5 eddir medd yr Arglwydd.
j Mal. 2,2 9 j Edrychasoch am lawer, ac wele yn ychydig, dyg-
Mat. 6,33 asoch adref, a chwythais arno: am ba beth medd Ar-
glwydd y lluoedd? am y tŷ mau fi'r hwn sydd yn ang-
hyfannedd, a chwithau yn rhedeg bawb iw dŷ ei hun.
10 k Am hynny gwaharddwyd i'r nefoedd wlitho ar- k Lef. 16,
noch, a gwaharddwyd i'r ddaiar roddi ei ffrwyth. 19 Deut. 18,
11 Gelwais hefyd am sychder ar y ddaiar, ac ar y 23
mynyddoedd, ac ar yr ŷd, ac ar y gwin, ac ar yr olew,
ac ar yr hyn a ddwg y ddaiar allan: ar ddyn hefyd,
ac ar anifail, ac ar holl lafur dwylo.
12 l Gwrandawodd Zorobabel mab Salathiel, ac Io- l Ezra 5,2
sua mab Iosedec yr arch-offeiriad, a holl weddill y Esa. 55,10
bobl, ar lais yr Arglwydd eu Duw, ac ar eiriau Ag- 11 1 Thes. 1,
geus, y prophwyd, megis yr anfonodd eu Harglwydd 5
Dduw hwynt ef: a'r bobl a ofnasant ger bron yr Ar-
glwydd.
13 m Yna Aggeus cennad yr Arglwydd a ddywed- m Rhuf. 8
odd oddi wrth yr Arglwydd, wrth y bobl, gan ddy- 31
wedyd, [Byddaf] fi gydâ chwi medd yr Arglwydd.
14 n Felly y cyffrodd yr Arglwydd yspryd Zoroba- n Sal. 110,
bel fab Salathiel tywysog Iuda, ac yspryd Iosua fab 3
Iosedec yr arch-offeiriad, ac yspryd holl weddill y
bobl, fel yr aethant, ac y gweithiasant y gwaith yn nhŷ
Arglwydd y lluoedd eu Duw hwynt.

### PEN. II.

*Aggeus sydd yn dangos y bydd mwy gogoniant yr ail Deml, na'r Deml gyntaf.*

Y PEDWERYDD dydd ar hugain o'r chweched
mis yn yr ail flwyddyn i Ddarius y brenin,

oHeb.14, 2 ° Y seithfed [mis] yr unfed [dydd] ar hugain o'r
20 Act. 14, mis y daeth gair yr Arglwydd trwy law y prophwyd
22, 23 Aggeus, gan ddywedyd,
3 Dywet yn awr wrth Zorobabel fab Salathiel tywys-
og Iuda, ac wrth Iosua fâb Iosedec yr arch-offeiriad,
ac wrth weddill y bobl gan ddywedyd,
pZec.8,9 4 p Pwy yn eich plith a adawyd yr hwn a welodd y
1Cor. 16, tŷ hwn yn ei ogoniant cyntaf? a pha fodd y gwelwch
13 a 15, 58 chwi ef yr awr hon? onid [yw] wrth hwnnw yn eich
2Tim.7,8 golwg, fel peth heb ddim?
qRhuf.8, 5 q Ac yr awr hon cymmer gyssur Zorobabel medd
26 Esa. 63, yr Arglwydd, ac Iosua mab Iosedec yr arch-offeiriad,
11 cymmer gyssur, a chymmered holl bobl y tîr gyssur,
medd yr Arglwydd, a gweithiwch, canys yr [ydwyf] fi
gyd â chwi, medd Arglwydd y lluoedd.
rHeb.12, 6 r Fy Yspryd saif gyd â chwi [yn ôl] y gair yr hwn a
26 ammodais â chwi, pan eich dygais allan o'r Aipht: nac
ofnwch.
s1Tim.3, 7 s Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Un-
16 Sal. 21,7, waith etto (bychan [yw] hynny) a mi a escydwaf y
8 nefoedd, a'r ddaiar, a'r môr, a'r [tîr] sych.
Mal. 3. 1 tEsa.60,1 8 t Cynhyrfaf hefyd yr holl genhedloedd, a dymuniant
Ezra 4,12 y cenhedloedd a ddaw: llanwaf hefyd y tŷ hwn â go-
Sal.50,10 12 goniant medd Arglwydd y lluoedd.
u Ioan 1, 9 u Eiddo fi 'r arian, eiddo fi 'r aur, medd Arglwydd y
14 Esa. 2, 3 lluoedd.
Eph.2,14 10 Bydd mwy gogoniant y tŷ diwethaf hwn na'r cyn-
taf medd Arglwydd y lluoedd, ac yn y lle hwn y rhodd-
af dangnheddyf, medd Arglwydd y lluoedd.
vMal 2 7 11 v Ar y pedwerydd dydd ar hugain o'r nawfed [mis]
Lef.10,10 yn yr ail flwyddyn i Ddarius y daeth gair yr Arglwydd
at Aggeus y prophwyd gan ddywedyd,
wMat. 21 12 w Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Gofyn
27 Rhuf. 1, yr awr hon i'r offeiriaid y gyfraith gan ddywedyd,
18 13 Os dwg un gig sanctaidd yng-hwrr ei wisc, ac âi
gwrr a gyffwrdd â'r bara, neu â'r cawl, neu â'r gwin,
neu â'r olew, neu â dim o'r bwyd, a fydd sanctaidd
[hynny?] a'r offeiriaid a attebasant, ac a ddywedasant,
Na [fydd.]
14 x Ac Aggeus a ddywedodd, Os un halogedic a xTit 1,15
gyffwrdd â dim o'r rhai hyn, a halogir efe? a'r offeir- Eph. 1,6
iaid a attebasant, ac a ddywedasant, Halogir.
15 y Yna'r attebodd Aggeus, ac a ddywedodd, Felly yGen.32,
hefyd y bobl hyn, felly y genhedlaeth hon, ger fy 10 Ezra 4,5
mron medd yr Arglwydd: ac felly holl weithredoedd
eu dwylo, a'r hyn a aberthant yno sydd halogedic.
16 Ac yr awr hon meddyliwch atolwg o'r diwrnod
hwn [allan,] a chynt, cyn rhoddi carrec ar garrec yn
Nheml yr Arglwydd:
17 z Cyn eu bod hwynt, pan ddelid at dwrr o ugain zAmos 4,
[llestred] dec fydde, pan ddelid at y gwin-wryf i dyn- 4, 8
nu dec [llestred] a dau ugain o'r cafn, ugain a fydde yno.
18 a Tarewais chwi â diflanniad, ac â mallder, ac â a 1Cron.
chenllysg yng-hyd âg oll weithredoedd eich dwylo, a 12. 35
chwithau ni [throesoch] attafi medd yr Arglwydd. Ezra3.11
19 b Ystyriwch yr awr hon o'r dydd hwnnw, ac er bMat. 6,
cynt, o'r pedwerydd dydd ar hugain o'r nawfed [mis:] 33
ac ystyriwch o'r dydd y sylfaenwyd Teml yr Arglwydd.
20 c A yw 'r hâd yn yr yscubor? y winwydden hefyd c2Tim 4,
y ffigusbren, a'r pomgranad, a'r pren oliwydd ni 2
ffrwythasant etto: o'r dydd hwn allan y bendithiaf
[chwi.]
21 d A gair yr Arglwydd a ddaeth ailwaith at Aggeus dHeb 12,
y pedwerydd [dydd] ar hugain o'r misgan ddywedyd, 27 a 2.5
22 e Llefara wrth Zorobabel tywysog Iuda, gan ddy- eDat. 19,
wedyd, Myfi a escydwaf y nefoedd, a'r ddaiar. 17 2Thes. 2,
23 f Ymchwelaf deyrn-gader teyrnasoedd, a diuistriaf 8
gryfder brenhiniaethau y cenhedloedd, ymchwelaf 2Cor. 16,
hefyd y cerbyd ai lwyth, y meirch, ai marchogion a 5 Mat.3,7
syrthiant bob un ar gleddyf ei gilydd. Esa 42,1
24 Y diwrnod hwnnw i'th gymmeraf di fyng-was Marc 3,
Zorobabel mab Salathiel, medd yr Arglwydd, ac i'th 17 1Pedr 1,
osodaf fel sèl, canys mi a'th ddewisais di, medd Ar- 20
glwydd y lluoedd.

*TERFYN LLYFR PROPHWYDOLIAETH AGGEUS.*

---

## LLYFR Y PROPHWYD

# ZACHARIAS.

### PENNOD I.

*Y mae yn annog y bobl i droi at yr Arglwydd oddiwrth feiau eu henafiaid, gan ddangos morr ymgeleddgar yw'r Arglwydd iddynt.*

gMat.23, YR g wythfed mis o'r ail flwyddyn i Ddarius y
35 Diar.17 6 daeth gair 'r Arglwydd at Zacharias fab Bara-
cias fab Ido y prophwyd, gan ddywedyd,
hDan9 12 2 h Llwyr ddigiodd yr Arglwydd wrth eich tadau.
iIago 4,8 3 i A dywet wrthynt, Fel hyn y dywed Arglwydd y
Luc15,21, lluoedd: Dychwelwch attaf fi, medd Arglwydd y llu-
22 oedd: a mi a ddychwelaf attoch chwithau, medd Ar-
glwydd y lluoedd.
4 Na fyddwch fel eich tadau, y rhai y galwodd y
prophwydi cyntaf arnynt, gan ddywedyd, Fel hyn y
dywed Arglwydd y lluoedd, Dychwelwch yn awr
oddi wrth eich llwybrau drwg, a'ch gweithredoedd
drygionus: ond ni chlywent, ac ni wrandawent arnaf,
jPreg.12, medd yr Arglwydd:
7 Diar. 10, 5 j Pa le y mae eich tadau? ac a fydd y prophwydi
fyw byth?
6 k Oni ddarfu er hynny i'm geiriau, a'm deddfau y kDan. 9,
rhai a orchymynnais wrth fyng-weision y prophwydi 11 Sal.50,21
oddiwes eich tadau? fel y dychwelasant, ac y dywed- 22
asant, Megis yr amcanodd Arglwydd y lluoedd wneu- Galar. 1,
thur i ni: felly yn ol ein llwybrau, a'n dychymygion 18 Esa.55,10
ein hun y gwnaeth efe â ni. 11
7 Y pedwerydd dydd ar hugain o'r unfed mis ar ddec
(hwnnw yw Sebat) o'r ail flwyddyn i Ddarius y daeth
gair yr Arglwydd at Zacharias fab Baracias fab Ido y
prophwyd gan ddywedyd,
8 l Gwelais noswaith, ac wele ŵr yn marchogeth ar lHos 5,15
farch côch, ac efe yn sefyll rhwng y myr-wydd, y rhai Dat 19,13
[oeddynt] mewn pant, ac oi ôl ef feirch cochion, a 14. 1 a 17, 14
brythion, a gwynnion.
9 m Yna dywedais, Beth [yw] y rhai hyn fy Arglwydd? mDiar. 2
a dywedodd yr Angel yr hwn oedd yn ymddiddan â 2
mi: Mi a ddangosaf it beth yw y rhai hyn. Iago 1, 5
10 n A'r gwr yr hwn oedd yn sefyll rhwng y myr- nHeb. 1,
wŷdd, a attebodd, ac a ddywedodd, Dymma y rhai a 14
hebryngodd yr Arglwydd i fyned trwy 'r bŷd. Sal. 91,11

o Sal. 68, 17 1 Thes. 5, 3 11 o A hwyntau a attebasant Angel yr Arglwydd yr hwn oedd yn sefyll rhwng y coed myrr, ac a ddywedasant, Rhodiasom yr holl ddaiar, ac wele 'r holl fyd yn eistedd, ac yn gorphywys.

p Mal 3.2 Esa. 63,9 Heb.4.15 Dan. 12,6 Sal. 102, 13.14 12 p Ac Angel yr Arglwydd a attebodd, ac a ddywedodd, O Arglwydd y lluoedd, pa hyd ni thrugarhei wrth Ierusalem, a dinasoedd Iuda, [wrth] y rhai y digllonaist y deng-mhlynedd a thrugain hyn?

Ier. 25. 3 a 29,10 13 q A'r Arglwydd a attebodd yr Angel a oedd yn ymddiddan â mi eiriau daionus, [a] geiriau cyssurus.

q Ioan 12, 27. 28 r Esa. 9 7 Diar. 6, 34 14 r A'r Angel yr hwn oedd yn ymddiddan â mi a ddywedodd wrthif, Gwaedda gan ddywedyd, Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Deliais eiddigedd mawr dros Ierusalem, a thros Sion.

15 A digiais yn ddir-fawr wrth y cenhedloedd difraw, y rhai [pan] ddigiais ychydig hwythau a gynnorthwyasant wneuthur niwed.

s Esa. 12, 1 Hab.1,13 16 s Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Dychwelaf at Ierusalem mewn tirionder, fy nhŷ a adailedir ynddi medd Arglwydd y lluoedd: a llinin a estynnir ar Ierusalem.

t Esa. 16, 19, 20 17 t Gwaedda etto gan ddywedyd, Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Fy ninasoedd a wascerir trwy ddaioni, a'r Arglwydd a rydd gyssur i Sion etto, ac a ddewis Ierusalem trachefn.

18 A chodais fy llygaid, ac edrychais, ac wele bedwar corn.

u Dan.12, 7 19 u A dywedais wrth yr angel yr hwn oedd yn ymddiddan â mi, Beth [yw] y rhai hyn? dywedodd yntef wrthif, Y rhai hyn yw 'r cyrn a wascarant Iuda, Israel, ac Ierusalem.

20 A'r Arglwydd a ddangosodd i mi bedwar saer hefyd.

v Esa. 35, 5 Sal. 75, 4 21 v Yna y dywedais, I wneuthur pa beth y daw y rhai hyn? ac efe a lefarodd, gan ddywedyd, Y rhai hyn [yw 'r] cyrn a wascarasant Iuda, fel na chode un ei ben: a'r rhai hyn a ddaethant iw tarfu hwynt, ac i daflu allan gyrn y cenhedloedd, y rhai a godant eu cyrn ar wlad Iuda, iw gwascaru hi.

## PEN. II.

*Adnewyddiad Ierusalem, ac Iuda.*

w Ezec. 40, 3 Dat. 11,2 DERCHEFAIS w fy llygaid, ac edrychais, ac wele wr, ac yn ei law linin mesur.

x Dat. 21, 15, 16 Sal. 51,2 2 x A dywedais, I ba le yr ei di, ac efe a ddywedodd wrthif, I fesuro Ierusalem, i weled beth [a fydd] ei lled hi, a pheth [fydd] ei hyd hi.

y Heb.10, 22 3 y Ac wele angel yr Arglwydd yr hwn a oedd yn ymddiddan â mi yn myned allan: ac angel arall yn myned allan iw gyfarfod.

z Ier 3,18 Amos 3, 14 4 z Ac efe a ddywedodd wrtho ef, Rhêd, a llefara wrth y llange hwn gan ddywedyd, Ierusalem a gyfanneddir [fel] maes drefi rhac amled dyn, ac anifail oi mewn.

5 Canys byddaf fy hun yn fur o dân amgylchadwy iddi, medd yr Arglwydd, a byddaf yn ogoniant ynddi.

a Esa. 48, 20 Dat. 18,4 6 a Ho ho ffoiwch o wlad y gogledd medd yr Arglwydd, canys gwascerais chwi i bedwar gwynt y nefoedd medd yr Arglwydd.

b Mica 4, 10 Ier. 19, 2 7 b O Sion ymachub, yr hon ydwyt yn presswylio gyd â merch Babilon.

c Dat. 18, 6 Act. 9, 4 8 c Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Ar ol y gogoniant [hwn] i'm anfonodd at y cenhedloedd, y rhai a'ch yspeiliasant chwi: canys a gyffyrddo â chwi sydd yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad.

d Esa. 27, a 14, 2 9 d Canys wele fi yn escwyd fy llaw arnynt, a byddant yn sclyfaeth iw gweision eu hun, neu iw deiliaid eu hun: a chânt wybod mai Arglwydd y lluoedd am hanfonodd.

10 e Cân di a llawenycha merch Sion, canys wele fi yn dyfod: a mi a drigaf ynot medd yr Arglwydd. e Dat. 19, 20

11 A'r dydd hwnnw cenhedloedd lawer a ymlynant wrth yr Arglwydd, ac a fyddant bobl i mi: yna y trigaf ynot, a chei wybod mai Arglwydd y lluoedd am hanfonodd attat.

12 f A'r Arglwydd a etifedda Iuda, yn ei ran o'r tir sanctaidd, ac a ddewis Ierusalem etto. f Rhuf. 1. 28, 29

13 g Pob cnawd taw yng-wydd yr Arglwydd: canys cyfododd oi sanctaidd-le. g Hab. 2, 20 Sal. 12, 5 a 76, 65

## PEN. III.

*Prophwydoliaeth am Grist.*

AC h efe a ddangosodd i mi Iosuah 'r archoffeiriad yn sefyll ger bron Angel yr Arglwydd, a Satan yn sefyll ar ei ddeheu-law ef i'w wrthwynebu. h 1 Ioan 2, 1 Dat. 12, 19

2 i A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, Cerydded yr Arglwydd dy di Satan, a'r Arglwydd yr hwn a ddewisodd Ierusalem a'th geryddo: onid pentewyn [yw] hwn wedi ei achub o'r tân? Sal. 109,6 31 i Iudas 9 Dat. 7,16 Dan. 12,1

3 Ac Iosua ydoedd wedi ei wisco â dillad budron, ac yn sefyll yng-wydd yr Angel.

4 j Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrth y rhai oeddynt yn sefyll ger ei fron, gan ddywedyd, Bwriwch ymmaith y dillad budron oddi am dano ef: wrtho yntef y dywedodd, Wele y bwriais heibio dy anwiredd oddi wrthit, a gwiscaf di hefyd â newid ddillad. j Sal. 32,1 Gal. 3 27 Dat. 19,8 Luc 5,22

5 k A dywedais hefyd, Rhoddant meitr teg ar ei ben ef, a rhoddasant meitr teg ar ei ben ef, ac ai gwiscasant â dillad, ac Angel yr Arglwydd oedd yn sefyll [yno.] k 1 Pedr 2 9

6 Ac Angel yr Arglwydd a destiolaethodd wrth Iosuah gan ddywedyd,

7 l Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Os rhodi di yn fy llwybrau, ac os cedwi fy nghadwriaethau, tithe hefyd a ferni fy nhŷ, ac a gedwi fyng-hyntedd-oedd, rhoddaf it hefyd le ym mysc y rhai sydd yn sefyll [ymma.] l Luc 1.75 Tit. 2,11, 12

8 m Gwrando attolwg Iosuah'r arch-offeiriad, ti a'th gyfeillion sydd yn eistedd ger dy fron, canys gwŷr rhyfeddol yw y rhai hyn: o herwydd wele gwnaf i'm gwas y Blagurun ddyfod. m Esa. 8, 18 Sal. 71, 7

9 n Canys wele carrec a roddais ger bron Iosuah, ar un garrec [y bydd] saith o lygaid, wele fi yn naddu ei naddiad hi, medd Arglwydd y lluoedd: a mi a symmudaf ymmaith anwiredd y tir hwn mewn un diwrnod. n Sal 118, 22 Dat 5, 7. Ioan 1.14 Heb.9,12

10 Y dwthwn hwnnw medd Arglwydd y lluoedd, y geilw un ar ei gymmydog i ddyfod tan winwydden, a than ffigus-bren.

## PEN. IV.

*Gweledigaeth y canwyll bren aur ai deongliad.*

A'R o Angel yr hwn oedd yn ymddiddan â mi a ddychwelodd, ac a'm deffrôdd fel y deffroir un oi gwsc. o Dan 8, 17

2 p Ac efe a ddywedodd wrthif, Beth a weli? yna y dywedais, Edrychais, ac wele ganhwyll-bren oll o aur, ai gaead ar ei ben, ai saith lusern arno, a saith o bibellau i'r lusernau y rhai oeddynt ar ei benn ef. p Dat 1 12 Mat. 5,14 a 25, 1 Rhuf.16, 17

3 q A dwy oliwydden wrtho, y naill o'r tu dehau, a'r llall o'r tu asswy i'r caead: Ioan 1.16 q Dat.11, 4

4 r Ac mi a attebais, ac a ddywedais wrth yr Angel a oedd yn ymddiddan â mi, gan ddywedyd, Beth [yw] y rhai hyn fy Arglwydd? r Mat. 16 17 2 Cor. 3 5

5 s A'r Angel yr hwn oedd yn ymddiddan â mi, a attebodd, ac a ddywedodd wrthif, Oni wyddost beth [yw] s Diar. 30 2, 3 Dan. 4,15

y rhai ymma? yna y dywedais, Na wn fy Arglwydd.
t1Cor. 1, 27 6 t Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthif, gan
s2Cor.10,4 ddywedyd, Hyn [yw] gair yr Arglwydd at Zorobabel
gan ddywedyd, Nid â llu, ac nid â nerth, onid a'm
Hyspryd mau fi medd Arglwydd y lluoedd.
uDan. 2, 35 7 u Pwy [wyt] ti y mynydd mawr? ger bron Zoroba-
Dat. 26, 14 bel [y byddi] yn wastad: ac efe a ddwg allan y maen
pennaf [gan] weiddi, Rhad, rhad iddo.
Sal. 118, 26 8 Daeth gair yr Arglwydd attaf trachefn gan ddy-
a 134, 3 wedyd,
9 Dwylo Zorobabel a sylfaenasant y tŷ hwn, ai
ddwylo ef ai gorphen, a chei wybod mai Arglwydd y
lluoedd a'm hebryngodd attoch.
vHag. 2, 3 10 v Canys pwy a ddiystyrodd ddydd y [pethau] by-
chain? llawenychant pan welant y garrec alcam yn
llaw Zorobabel, dymma saith lygaid yr Arglwydd, y
rhai [ydynt] yn myned trwy'r holl dir.
11 A mi a attebais, ac a ddywedais wrtho ef, Beth
[yw] y ddwy oliwydden hyn, ar y tu dehau i'r can-
wyll-bren, ac ar ei asswy?
12 Ac mi a attebais trachefn, ac a ddywedais wrtho
ef, Beth [yw] y ddau bingcin oliwydden, y rhai trwy
y ddwy bibell aur sydd yn tywallt o honynt aur?
13 Ac efe a lefarodd wrthif gan ddywedyd, Oni
wyddost pa beth [yw] y rhai hyn? a dywedais, [Na
wn] fy Arglwydd.
14 Ac efe a ddywedodd, Dymma y ddwy gaingc oli-
wydden y rhai ydynt yn sefyll ger bron Arglwydd yr
holl dir.

## PEN. V.

*Gweledigaeth y llyfr hedegoc, a'r mesur Epha, ai deongliad.*

wEzec. 2, 9 YNA w y troais, a chodais fy llygaid, ac edrychais,
ac wele lyfr yn hedeg.
xDat.18, 5 a 17, 2 2 x A dywedodd wrthif, Beth a weli di? a dywedais,
Gen.6,11 Mi a welaf lyfr yn hedeg, ai hyd yn ugain cufydd, ai
led yn ddec cufydd.
yMal.4,1 6 3 y Ac efe a ddywedodd wrthif, Dymma'r felldith yr
Dat. 11,9 hon sydd yn myned allan ar wyneb yr holl fyd, canys
pawb a ledratto o'r [bobl] hyn, a fernir wrth hwn: a
phawb o'r [bobl] hyn a ofer-dyngant, a fernir wrth
hwn.
zIob18,14 15 4 z Dygaf hi allan medd Arglwydd y lluoedd, a hi a
a 20, 25 ddaw i dŷ y lleidr, ac i dŷ y neb a dyngo i'm henw, ac
Luc19,44 hi a erys yng-hanol ei dŷ, ac a dreulia ei goed, ai ger-
ric.
aSal.119, 120 5 a Yna yr angel yr hwn oedd yn ymddiddan â mi a
aeth allan, ac a ddywedodd wrthif, Cyfot yn awr dy
lygaid, ac edrych beth [yw] hynn sydd yn myned allan.
bMat.23, 32 6 Ac mi a ddywedais, Beth [yw] hynny? ac efe a
ddywedodd, Hwn yw'r Epha y sydd yn myned allan:
ac efe a ddywedodd, Dymma eu gwelediad yn yr holl
ddaiar.
cAmos2, 15 7 c Ac wele dalent o blwm wedi ei godi i fynu, ac
Ex. 15,10 dymma wraig yn eistedd yng-hanol yr Epha.
Dat. 17,3 8 d Ac efe a ddywedodd, Anwiredd yw hon, ac efe ai
d2Thes.2, 3 taflodd hi i ganol yr Epha: a bwriodd y pwys plwm
Sal.50,22 ar ei enau.
Dat. 19, 20 9 e A chyfodais fy llygaid, ac edrychais, ac wele ddwy
ePedr 2, 1 wragedd yn dyfod allan, a gwynt yn eu hescill, (canys
Esa. 52,6 escill oedd ganddynt fel escill y Ciconia) a chyfodas-
ant yr Epha rhwng y ddaiar a'r nefoedd.
10 Yna y dywedais wrth yr angel yr hwn a oedd yn
ymddiddan â mi, I ba le 'r aiff y rhai hyn a'r Epha?
f Dat. 18, 24 a 17, 5 11 f Dywedodd yntef wrthif, I adeiladu iddi dŷ yng-
wlad Sinnaar: ac hi a ddarperir, ac a osodir yno ar ei
stôl.

## PEN. VI.

*Gweledigaeth y pedwar cerbyd.*

HEFYD g mi a droais, ac a dderchefais fy llygaid, gSal. 68, 17
ac a edrychais, ac wele bedwar o gerbydau yn 2Bren.6, 17
dyfod allan oddi rhwng dau fynydd, a'r mynyddoedd Diar. 19, 21
[oeddynt] fynyddoedd o brês.
2 h Yn y cerbyd cyntaf [yr oedd] meirch cochion: ac hDat.6,4 a 6, 5
yn yr ail cerbyd meirch duon.
3 i Ac yn y trydydd cerbyd meirch gwynion, ac yn y iDat. 6,2
pedwerydd cerbyd meirch brithion, [a] gwineuon.
4 Yna 'r attebais, ac y dywedais wrth yr hwn a oedd
yn ymddiddan a mi, Beth [yw] y rhai hyn fy Argl-
wydd?
5 k A'r Angel a attebodd, ac a ddywedodd, Dymma kHeb.1 7 14
bedwar yspryd y nefoedd, yn dyfod allan o sefyll ger Dan.7,10
bron Arglwydd yr holl ddaiar.
6 l Yr hon [yr oedd] meirch duon ynddi, a aethant lDat.18,1 a 18, 4
allan i dîr y gogledd, a'r gwynnion a aethant allan ar Esa. 48,6
eu hol hwythau, a'r brithion a aethant allan i'r deheu-
dir.
7 m A'r gwineuon a aethant allan, ac a geisiasant mHeb1 6
fyned i rodio 'r byd, ac efe a ddywedodd, Ewch, Pen. 1, 9
rhodiwch y byd: felly y rhodiasant y byd.
8 n Efe a waeddodd, ac a lefarodd wrthif, gan ddy- nIos.7,26
wedyd, Edrych y rhai a aethant i dîr y gogledd, a 2Sam.21, 14
llonyddasant fy Yspryd yn nhir y gogledd.
9 Yna y bu gair yr Arglwydd wrthif gan ddywedyd,
10 o Cymmer gan y carcharorion a ddaethant o oEsa 30, 18
Babilon, gan Heldai, Tobiah, ac Iedaia, a thyret y
dydd hwnnw, a dos i dŷ Iosiah fab Sophonia.
11 p A chymmer arian, ac aur, a gwna goron, a pDat. 19 12
gosod am ben Iosuah fab Iosedec yr arch-offeiriad. Can.3,11
12 q A dywet wrtho gan ddywedyd, Fel hyn y dywed q1Tim.2, 5
Arglwydd y lluoedd, gan ddywedyd, Wele y gwr ai Mat. 16,
enw Blagurun, oi le hefyd y blagura, ac yr adailada 18
Deml yr Arglwydd.
13 r Teml yr Arglwydd a adailada efe, ac efe a ddwg rSal.45,3
glod, ac a eistedd, ac a lywodraetha ar ei frenhin- Esa. 22, 24
faingc, bydd yn offeiriad hefyd ar ei frenhin-faingc, a Dat.5,21
chyngor hedd a fydd rhyngddynt ill dau. Sal. 110,3 Eph.2.14
14 s A'r goron fydd i Helem, ac i Tobiah, ac i Iedaia, sMarc14, 9
ac i Hen fab Sophonia: er coffadwriaeth yn Nheml yr
Arglwydd.
15 t Canys pelledigon a ddeuant, ac a adailadant yn tEsa. 57, 19
Nheml yr Arglwydd, a chewch wybod mai Arglwydd
y lluoedd a'm anfonodd attoch, a [hynn] a fydd, os
gan wrando y gwrandewch ar lais yr Arglwydd eich
Duw.

## PEN. VII.

1 *Am ympryd.* 11 *Bod cyndynrwydd y bobl yn peri eu aystudd hwynt.*

Y BEDWAREDD flwyddyn i'r brenin Darius, y
daeth gair yr Arglwydd at Zacharias, y pedwer-
ydd [dydd] o'r nawfed mis [sef] o Cisleu.
2 u Ac anfonodd [y bobl] Sarasar, a Rogommelec, ai uMal.2,7
wŷr i dŷ Dduw i weddio ger bron yr Arglwydd,
3 v Gan ddywedyd wrth yr offeiriaid y rhai [oeddynt] vDeut33 10
yn-nhŷ Arglwydd y lluoedd, ac wrth y prophwydi, Ioel 2, 15
gan ddywedyd, A wylaf fi y pummed mis, gan ymnaill- 1Cor.7,5
duo, fel y gwneuthum weithian gymmaint o flynydd-
oedd?
4 Yna gair Arglwydd y lluoedd a ddaeth attaf gan
ddywedyd,
5 w Dywet wrth holl bobl y tir, ac wrth yr offeiriaid, wEsa 58, 5
gan lefaru: Pan oeddech yn ymprydio, ac yn galaru y Ier. 41, 2
pummed, a'r seithfed [mis] y deng mlynedd a a thrug- Dan.9,13

ain hyn, a ymprydiasoch chwi ympryd i mi?
x1Cor.10 31 6 [x] A phan fwyttasoch, a phan yfasoch, onid oeddech
Rhuf.14, 17 yn bwytta [i chwi] eich hunain, ac yn yfed [i chwi]
eich hunain?
7 Oni [ddylech wrando] y geiriau a gyhoeddodd yr
Arglwydd trwy law y prophwydi cyntaf, pan oedd
Ierusalem yn gyfannedd, ac yn llwyddiannus, a'r din-
asoedd oi hamgylch: a [phobl] yn cyfanneddu y dehau-
dir a'r dyffryn-dir.
8 A daeth gair yr Arglwydd at Zacharias gan ddyw-
edyd,
yMica 6, 8 9 [y] Fel hyn y llefara Arglwydd y lluoedd, gan ddy-
Mat. 23, 23 wedyd, Bernwch farn gywir, gwnewch fwynder, a
thrugaredd pob un iw gilydd.
zEx. 22, 22 10 [z] Ac na orthrymmwch y weddw, a'r ymddifad, y
dieithr, a'r anghenoc, ac na feddyliwch ddrwg bob un
iw gilydd yn eich calonnau.
aNeh. 9, 29 11 [a] Er hyn gwrthodasant wrando, a rhoddasant ys-
Hos. 4,16 cwydd anhydyn, a thrwmhasant eu clustiau rhac
Act. 5,57 clywed.
12 [b] Gosodasant hefyd eu calonnau yn Adamant rhac
bNeh. 9, 29 clywed y gyfraith, a'r geiriau y rhai a anfonodd Ar-
Act. 7,51 glwydd y lluoedd drwy ei yspryd yn llaw y prophwydi
Dan.9,12 Mica3 12 cyntaf: am hynny y bu digofaint mawr oddi wrth
Arglwydd y lluoedd.
cMica 3, 4 13 [c] A bu megis y galwodd efe, ac ni wrandawent:
Esa. 1,15 felly y galwent, ac ni's gwrandawn medd Arglwydd
y lluoedd.
dDan. 9, 10 14 [d] Onid chwalwn hwynt i blith yr holl genhedloedd,
Galar. 1, y rhai nid adwaenent, a'r tir a anghyfaneddwyd ar eu
1,2 hol hwynt, fel nad oedd a ele heibio, nac a ddele yn ei
ol: felly y gosodasant y wlad ddymmunol yn ddiff-
aethwch.

## PEN. VIII.

*Dychweliad y bobl i Ierusalem. Daioni Duw iddynt. Gwir wasanaeth Duw. Galwedigaeth y cenhedloedd.*

YNA y daeth gair Arglwydd y lluoedd [attaf] gan
ddywedyd,
eDeut.7, 7,8 2 [e] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Eiddigedd-
ais eiddigedd mawr dros Sion, ac mewn llid mawr yr
eiddigeddais trosti.
f1Cor. 6, 16 3 [f] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Dychwelaf at Sion,
a thrigaf yng-hanol Ierusalem, ac Ierusalem a elwir,
Esa. 1,21 Dat. 21, 27 Dinas y gwirionedd, a mynydd Arglwydd y lluoedd,
mynydd sanctaidd.
4 [g] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Hen wŷr,
gEsa. 65, 20 22 a hen wragedd a eisteddant etto yn heolydd Ierusalem,
Seph. 3,5 a'r gŵr a'i ffon yn ei law o amlder dyddiau.
5 Heolydd y ddinas a lenwir o fechgin, a genethod,
yn chware yn ei heolydd.
hGen.18, 14 6 [h] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, os anhawdd
yw [hyn] yn y dyddiau hynny yng-olwg gweddill y
Mat. 19,26 bobl: ai anhawdd fydde hefyd yn fyng-olwg innef,
medd Arglwydd y lluoedd?
Rhuf.11 25,27 7 [i] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Wele fi yn
gwaredu fy mhobl o dir codiad, ac o dir machludiad
Ezec. 37 19 haul.
Ier. 3 18 Amos9 14 8 [j] A gwnaf iddynt ddyfod fel y presswyliant yng-
hanol Ierusalem: a byddant yn bobl i mi, a byddaf idd-
ynt hwythau yn Dduw, mewn gwirionedd, ac mewn
cyfiawnder.
Hag2 4 9 [k] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Cryfhaer
Ioan 8 eich dwylo chwi y rhai ydych yn clywed (yn y dydd-
Hag 2 6 iau hyn) y geiriau hyn o enau y prophwydi (y rhai
2 16 [oeddynt] yn y dydd y sylfaenwyd tŷ Arglwydd y llu-
Cron 15 oedd) am adailadu y Deml.
Esa 45 7 10 [l] Canys cyn y dyddiau hyn nid oedd tâl [llafur] i
ddyn, na thâl i anifail, na heddwch i'r [un] a ele allan,
nac a ddele i mewn gan y gorthrymmwr: o blegit gyr-
rais ddynion bob un ym mhen ei gymydog.
11 [m] Ond bellach ni [byddaf] fi i weddill y bobl hyn,
megis yn y dyddiau cyntaf, medd Arglwydd y lluoedd. mEsa 12 1
12 [n] Canys [bydd] hâd heddwch, y winwydden a rydd Sal 103 9
ei ffrwyth, a'r ddaiar, a ddyd ei chynnyrch, a'r nefoedd nSal 67 6
a roddant eu gwlith, a pharaf i weddill y bobl hyn eti- Mat 6 33 1Tim 4 8
feddu yr holl bethau hyn.
13 [o] A bydd mai megis y buoch chwi tŷ Iuda, a thŷ oDeut 28 37
Israel yn felldith ym mysc y cenhedloedd: felly i'ch Ier 42 18
gwaredaf chwi, a byddwch yn fendith, nac ofnwch, Hag 2 19
cryfhaer eich dwylo.
14 [p] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Fel yr pEzec 20
amcenais eich drygu chwi, pan i'm cyffrôdd eich tadau
chwi fi, medd Arglwydd y lluoedd, ac nid arbedais: 2Cron 36 16
15 Felly y troais, [ac] yr amcenais y dyddiau hyn
wneuthur lles i Ierusalem, ac i dŷ Iuda, nac ofnwch.
16 [q] Hyn [yw'r] pethau a wnewch chwi, Dywedwch qSal 15 3
y gwir bawb wrth ei gymydog, a bernwch farn gwirion- Ephe 4 25 Hebr 12 14
edd [a] thangneddyf yn eich pyrth. Iago 3 17
17 Ac na fwriedwch ddrwg neb i'w gilydd yn eich
calonnau, ac na hoffwch lwon celwyddoc: canys yr
holl bethau hyn a gaseais, medd Arglwydd y lluoedd.
18 A gair Arglwydd y lluoedd a ddaeth attaf gan
ddywedyd,
19 [r] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Ympryd r 2 Bren 25
y pedwerydd [mis] ac ympryd y pummed, ac ympryd Ier
y seithfed, ac ympryd y decfed a fydd i dŷ Iuda, yn Esth 8 17
llawenydd a hyfrydwch, ac yn uchel wyliau daionus:
gan hynny cerwch wirionedd, a heddwch.
20 [s] Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, [Bydd] sMat 8 11
etto y daw pobloedd, a phreswylwyr dinasoedd lawer:
21 [t] Ac aiff presswylwyr y naill i'r llall, gan ddywedyd, tMica 4 1
Awn i fyned i weddio ger bron yr Arglwydd, ac i ym- Ier 50 4
gais âg Arglwydd y lluoedd, minne a ddeuaf hefyd.
22 [u] Ie pobloedd lawer, a chenhedlaethau cryfion a uEsa60 3
ddeuant i geisio Arglwydd y lluoedd yn Ierusalem: ac
i weddio ger bron yr Arglwydd.
23 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Yn y dydd-
iau hynny [y bydd] i ddec o ddynion o bob tafod-iaith
y cenhedloedd, ymafaelyd yn ymyl [dilledyn] un Idd-
ew, gan ddywedyd, Awn gyd â chwi, canys clywsom
[fod] Duw gyd â chwi.

## PEN. IX.

*Dinistr gelynion yr eglwys. 7 Dychweliad y cenhedloedd. 9 Dyfodiad Crist ar yr assyn.*

BAICH [v] gair yr Arglwydd yn erbyn tir Hadrac: a vEsa 13 1
Damascus [fydd] ei orphwysfa ef: o blegit ar yr Ier 23 33
Arglwydd y bydd llygaid dyn, a llwythau Israel oll.
2 [x] Felly Hemath hefyd a derfyna oi mewn eu hun: xEzec 28
Tyrus, a Sidon hefyd, canys doeth odieth ydynt. 3 4
3 [y] A Thyrus a adailada iddi ei hun gastell, ac a gyn-
null arian fel llwch, ac aur coeth fel tomm yr heolydd. yEzec 27 2
4 Wele yr Arglwydd ai speilia, ac a deru ei nerth hi Iob 27 16
yn y môr, a hi a yssir â thân.
5 [z] Ascalon a wêl, ac a ofna, a Azza a ymofidia yn z Esa 26
ddirfawr, felly Accaron hefyd am ei chywyliddio oi 17
gobaith, difethir hefyd y brenin allan o Azza, ac As- Dat 18 9
calon nid erys.
6 [a] Estron hefyd a drig yn Astod, a thorraf i lawr aSal 12 8 Preg 6 2
falchder y Philistiaid. b Mica 7
7 [b] A mi a symmudaf ymmaith ei waed oddi wrth ei 11 Dat. 21
enau, ai ffiaidd-dra oddi rhwng ei ddannedd, ac efe a 24
weddillir i'n Duw ni, fel y byddo megis pennaeth yn cSal 34 7
Iuda, ac Accaron megis Iebusiad. Ezec 28 24
8 [c] A gwerssyllaf wrth fy nhŷ rhac y llu, rhac a êl Esa 60 17 18

ê, Nâg ê, o blegit beth bynnac sydd tros ben hyn, o
ddrygioni y mae.
38 Clywsoch ddywedyd, Llygad am lygad, a daint am
ddaint.
w Rhuf. 12, 17 39 ʷEithr yr ydwyfi yn dywedyd wrthych chwi, Na
Ioan 18, wrthwynebwch ddrwg, ond pwy bynnac a'th darawo
23 ar dy rudd dehau, tro'r llall atto ef hefyd.
x 1 Cor. 6, 40 ˣ Ac i'r neb a fynno ymgyfreithio â thi, a dwyn
6, 7 dy bais, gad iddo dy gochl hefyd.
41 A phwy bynnac a'th gymhello un filltir, dôs gyd
âg ef ddwy.
y Luc 6, 30 42 ʸ Dyro i'r hwn a gais gennit, ac na thro oddi wrth
Deut. 15, yr hwn sydd yn ewyllysio echwyna gennit.
8 43 ᶻ Clywsoch ddywedyd, Câr dy gymydog, a chasa
z Lef. 19 dy elyn.
18 Deut. 7, 2 44 ᵃ Eithr yr ydwyfi yn dywedyd wrthych chwi,
a 1 Cor. 4 Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda
12 i'r sawl a'ch casant, a gweddiwch tros y rhai a wnel
niwed i chwi, ac a'ch erlidiant,
b Eph. 5, 45 ᵇ Fel y byddoch blant eich Tad yr hwn sydd yn
1 Iob 5, 10 y nefoedd: canys y mae efe yn peri iw haul godi ar y
Act. 14, drwg a'r da, ac yn glawio ar y cyfiawn ar anghyfiawn.
17 46 O blegit os cerwch y sawl a'ch caro, pa wobr sydd
i chwi? oni wna'r publicanod yr un peth?
47 Os cyfarchwch eich brodyr yn unic, pa ragoriaeth
yr ydych chwi yn ei wneuthur, onid ydyw y publican-
od yn gwneuthur felly?
c Phil. 3, 48 ᶜ Byddwch chwi gan hynny yn berffaith, fel y
15 mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith.

## PEN. VI.

*Am eluseni. 5 gweddi. 16 ympryd. 25 Gwahardd gofalu am bethau bydol.*

d Ier. 17, 9 GOCHELWCH ᵈ rhag gwneuthur eich elusen yng-
Act 9, 36 wydd dynion er mwyn cael eich gweled gan-
1 Cor. 10 ddynt, os amgen ni chewch dâl gan eich Tâd yr hwn
31 Rhuf. 4, 4 sydd yn y nefoedd.
e Diar. 20 2 ᵉ Am hynny pan wnelech dy elusen na phâr ganu
6 2 Bren. 10 udcorn o'th flaen, fel y gwna'r rhagrithwŷr yn y Syn-
16 agogau, ac ar yr heolydd iw moli gan ddynion, yn wir
meddaf i chwi y maent yn derbyn eu gwobr.
3 Eithr pan wnelech ti elusen, na wyped dy law as-
swy pa beth a wna dy law ddehau,
f Sal. 44, 4 ᶠ Fel y byddo dy elusen yn ddirgel, a'th Dad yr
21 hwn a wel yn y dirgel a dâl i ti yn yr amlwg.
5 A phan weddiech na fydd fel y rhagrithwyr, canys
hwy a garant sefyll, a gweddio yn y Synagogau, ac
yng-honglau yr heolydd, er mwyn cael eu gweled
gan ddynion: yn wir meddaf i chwi, y maent yn der-
byn eu gwobr,
g Esa. 26 6 ᵍ Tithe pan weddiech dos i'th stafell, ac wedi caeu
20 dy ddrws, gweddia ar dy Dâd yr hwn [sydd] yn ddir-
gel, a'th Dâd yr hwn a wêl yn y dirgel a'th obrwya di
yn yr amlwg.
h Preg. 5 7 ʰ Hefyd pan weddioch na fyddwch siaradus fel y
2 cenhedloedd, canys y maent yn tybied y gwrandewir
1 Bren. 18 hwy am eu haml eiriau.
26 8 Am hynny na thybygwch iddynt hwy, canys gŵyr
eich Tâd pa bethau sy arnoch eu heisieu, cyn ceisio
o honoch ganddo.
9 ⁱ Am hynny gweddiwch chwi fel hyn, Ein Tâd yr
i Luc 11, 2 hwn ydwyt yn y nefoedd, sancteiddier dy enw.
10 ʲ Deled dy deyrnas, bydded dy ewyllys ar y ddai-
j Luc 19, ar, megis yn y nefoedd.
11 11 Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol,
k Col. 3, 12 ᵏ A maddeu di i ni ein dyledion fel y maddeuom
13 ninnau i'n dyled-wŷr.
13 ˡ Ac nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwaret ni l 1 Cor. 10, 13
rhag drwg: canys eiddot ti yw'r deyrnas, a'r nerth, 1 Tim. 6,
a'r gogoniant yn oes oesoedd, Amen. 16
14 ᵐ O blegit os maddeuwch i ddynion eu camwedd- m Marc 11, 25
au, eich Tad nefol a faddeu hefyd i chwithau. 1 Cor. 7, 5
15 Eithr oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, Act. 13, 3
ni faddeu eich Tad i chwithau eich camweddau.
16 ⁿ Hefyd pan ymprydioch, na fyddwch wyneb sar- n Esa. 58,
ric fel rhagrith-wŷr: canys anffurfio eu hwynebau y 5 1 Bren. 21
byddant, er ymddangos i ddynion fod yn ymprydio, 27
yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr.
17 ᵒ Eithr pan ymprydiech di, eneinia dy benn, a o Ruth 3,
golch dy wyneb, 3
18 ᵖ Rhag ymddangos i ddynion fod yn ymprydio, Preg. 9, 8 p Rhuf. 2
onid i'th Dad 'r hwn sydd yn ddirgel, a'th Dad yr hwn 29 Preg. 7,
a wêl yn ddirgel a dâl i ti yn amlwg. 26
19 ᑫ Na chesglwch dryssor i chwi ar y ddaiar, lle y q Ioan 6,
mae gwyfyn a rhŵd yn llygru, a lle y mae lladron yn 26 Col. 3, 1, 2
cloddio trwodd, ac yn lladratta: Sal 61, 10
20 ʳ Eithr cesclwch i chwi dryssorau yn y nef, lle 1 Tim. 6,
nid oes na gwyfyn na rhŵd yn llygru, a lle n'is cloddia'r 17 r 1 Tim.
lladron trwodd, ac ni's lladratânt. 6, 17
21 ˢ Canys lle y mae eich tryssor, yno y bydd eich Act. 10, 4 s Diar. 23
calon hefyd. 12
22 ᵗ Goleuni 'r corph yw 'r llygad, am hynny o bydd Sal. 62, 11 t Diar. 20
dy lygad yn syml, dy holl gorph fydd yn oleu. 27
23 ᵘ Eithr os bydd dy lygad yn ddrwg, dy holl gorph Rhuf. 12,
fydd yn dywyll, am hynny os bydd y goleuni yr hwn 8 u Diar. 23
sydd ynot yn dywyllwch, pa faint [fydd] y tywyllwch? 6 Luc 11,
24 ᵛ Ni ddichon neb wasanaethu dau arglwydd, canys 35, 36
naill ai efe a gasâ 'r naill, ac a gâr y llall, ai efe a ymlyn v Luc 16,
wrth y naill, ac a esceulusa 'r llall: ni ellwch wasan- 13 Ioan 24,
aethu Duw a golud-bydol. 19
25 ʷ Am hynny meddaf i chwi, na ofelwch am w Phil. 4,
eich bywyd pa beth a fwyttaoch, neu pa beth a yfoch: 6 1 Tim. 6, 6
nac am eich cyrph, pa beth a wiscoch: onid yw 'r
bywyd yn fwy na'r bwyd? a'r corph yn fwy na'r
dillad?
26 ˣ Edrychwch ar adar y nefoedd, o blegit nid yd- x Sal 111
dynt nac yn medi, nac yn cywain i'r yscuboriau, ac 2 a 147, 9
y mae eich Tad nefol yn eu porthi hwynt, onid ydych Iob 38, 41
chwi yn rhagori arnynt hwy?
27 ʸ A phwy o honoch gan ofalu a ddichon chwan- y Luc 12,
egu un cufydd at ei faint? 26
27 A pha ham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? Preg. 9, 11
dyscwch pa wedd y mae lili 'r maes yn tyfu: nid ydynt Diar. 23,
yn llafurio, nac yn nyddu, 2
29 ᶻ Eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, Na bu Solomon Sal. 75, 6 z 2 Cron.
yn ei holl ogoniant mor drwsiadus ag un o'r rhai hyn. 9, 7
30 ᵃ Am hynny os dillada Duw lysieuyn y maes, yr a 1 Pedr 1
hwn sydd heddyw, ac y foru a fwrir i'r ffwrn, oni 24
[ddillada efe] chwi yn fwy o lawer, O rai o ychydig
ffydd?
31 Am hynny na ofelwch gan ddywedyd, Beth a fwyt-
tawn? neu beth a yfwn? neu a pha beth yr ymddilladwn?
32 Canys am y pethau hyn oll yr ymofyn y cenhedl-
oedd, o blegit eich Tad nefol a ŵyr fod arnoch eisieu
yr holl bethau hyn.
33 ᵇ Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw ai gyf- b Ioan 6,
iawnder, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn 26
chwaneg.
34 ᶜ Na ofelwch gan hynny dros dranoeth, canys c Gen. 3,
trannoeth a ofala trosto eu hunan, digon i'r diwrnod 17
ei ddryganiaeth ei hun. d Luc 6, 37

## PEN. VII.

*1 Crist yn gwahardd barn chud. 6 a bwrw pethau sanctaidd i gwn. 13 Am y porth cyfyng, a'r un ehang. 15 Am y gau brophwydi. 18 Y pren a'i ffrwyth. 24 Am y tŷ ar y graig, a'r tŷ ar y tywod.*

NA fernwch, fel na'ch barner.
2 Canys â pha farn y barnoch, i'ch bernir: ac
â pha fesur y mesuroch, y mesurir i chwithau trachefn.
e Luc 6,41 Galat. 3. 4 3 e A pha ham y gweli di y brycheun sydd yn llygad
dy frawd, ac na ddeelli di y trawst sydd yn dy lygad
dy hun?
4 Neu pa fodd y dywedi wrth dy frawd, Gâd ti i mi
fwrw allan y brycheun o'th lygad, ac wele drawst yn
dy lygad dy hun?
f Luc 13, 15 Sal. 61, 18 5 f Oh ragrithiwr, bwrw allan yn gyntaf y trawst o'th
lygad dy hun, ac yna y canfyddi fwrw allan y brych-
eun o lygad dy frawd.
g Diar. 9, 8 Heb. 18, 29 6 g Na roddwch y peth sydd sanctaidd i gŵn, ac na
theflwch eich gemmau o flaen môch, rhag iddynt eu
sathru dan draed, a throi trachefn a'ch llarpio chwi.
7 Gofynnwch, a rhoddir i chwi, ceisiwch, ac chwi
a gewch: curwch ac fe agorir i chwi:
8 Canys pwy bynnac a ofynno, a dderbyn: a'r neb a
gais a gaiff: ac i hwn a guro yr agorir.
h Luc 11, 11, 12 9 h A oes un dŷn o honoch yr hwn os gofyn ei fab
iddo fara, a rydd iddo gareg?
10 Neu os gofyn efe byscodyn, a ddyri efe sarph iddo?
i Esa. 49, 15 Luc 11, 13 11 i Os chwy-chwi gan hynny, a chwi yn ddrwg a
fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant, pa faint mwy
y rhydd eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd bethau
da i'r rhai a ofynnant iddo?
j Rhuf. 13, 9 12 j Am hynny, beth bynnac a ewyllysioch ei wneu-
thur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt
hwy: canys hyn yw'r gyfraith a'r prophwydi.
k Luc 13, 4 Dat. 21, 27 13 k Ewch i mewn trwy'r porth cyfyng: canys ehang
[yw]'r porth, a llydan [yw] y ffordd sydd yn arwain i
ddestruw, a llaweroedd ydynt yn myned i mewn yno.
Job 21, 7 Dat. 13, 3 l Luc 18, 32 14 l O blegit cyfyng [yw'r] porth, a chûl yw'r ffordd
yr hon sydd yn arwain i'r bywyd, ac ychydig sydd
yn ei chael hi.
m 2 Petr 2, 1 15 m Ymogelwch rhag y gau brophwydi y rhai a
ddeuant attoch yng-wiscoedd defaid, onid oddi mewn
bleiddiaid rheipus ydynt hwy.
n Ioan 15, 4 1 Ioan 4 1 Dat. 2, 13 16 n Wrth eu ffrwyth yr adnabyddwch hwynt: a
gesclir grawn-win oddi ar ddrain, neu ffigus oddi ar
ysgall?
o Tit. 1, 13 17 o Felly pob pren da a ddwg ffrwyth da, a phren
drwg ffrwyth drwg.
p 1 Ioan 3, 9 18 p Ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drwg, na
phren pwdr ddwyn ffrwythau da.
q 1 Tim. 1 20 Dat. 2, 16 19 q Pob pren a'r ni ddwg ffrwyth da, a dorrir i lawr,
ac a deflir i'r tân.
20 O herwydd pa ham, wrth eu ffrwyth yr adnabydd-
wch hwynt.
21 Nid pwy bynnac a ddywed wrthif, Arglwydd,
Arglwydd, a ddaw i deyrnas nefoedd, ond yr hwn a
wna ewyllys fy Nhâd yr hwn [sydd] yn y nefoedd.
r Act. 17. 31 1 Cor. 14, 1 22 r Llaweroedd a ddywedant wrthif yn y dydd
hwnnw, Arglwydd, Arglwydd, Oni phrophwydasom
yn dy enw di, ac oni fwriasom allan gythreuliaid yn
s Luc 13, 27 dy enw di, ac oni wnaethom weithredoedd mawrion
trwy dy enw di?
2 Tim. 2, 19 Sal. 119, 20, 100 1 Cor. 10, 4 23 s Ac yna yr addefaf iddynt, ni's adnabum chwi
erioed, ewch ymmaith oddi wrthif, O weithred-wyr
anwiredd.
24 t Pwy bynnac gan hynny a glywo gennif y geir-

Rhif. xviii.

iau hyn, ac a'u gwna, mi a'i cyffelybaf ef i ŵr doeth,
yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar graig:
25 A'r glaw a ddescynnodd, a'r llifeiriant a ddaeth-
ant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a ruthrasant
ar y tŷ hwnnw, ac ni syrthiodd, am ei sylfaenu ar
graig.
26 u Ond pwy bynnac a glywo fyng-eiriau hyn, ac u Luc 6, 49
ni's gwna, a gyffelybir i ŵr ffol, yr hwn a adeiladodd Act. 4, 12
ei dŷ ar dywod,
27 v A'r glaw a ddescynodd, a'r llif-ddyfroedd a v Luc 12, 48
ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a gurasant ar y tŷ hwnnw, ac efe a syrthiodd, a'i gwymp ef
a fu fawr.
28 Ac fe ddarfu wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn,
synnu ar y dyrfa gan ei ddysc ef.
29 Canys yr oedd efe yn eu dyscu hwynt fel un ag
awdurdod ganddo, ac nid fel yr scrifennyddion.

## PEN. VIII.

*Crist yn iachau dyn gwahan-glwyfus. 5 Ffydd y capten. 11 Galwedigaeth y cenhedloedd. 14 Iachau chwegr Pedr, sef mam ei wraig ef. 19 Y gwr llên a ewyllysic ddilyn Crist. 23 Efe yn llonyddu yr môr a'r gwynt. 28 Ac yn gyrru cythreuliaid allan o ddau ddyn ddieflig i'r genfaint foch.*

AC w wedi ei ddyfod efe i wared o'r mynydd, llawer w Luc 5, 12
o bobloedd a'i dilynodd ef. Heb. 11, 6
2 Ac wele un gwahan-glwyfus a aeth ac ai haddolodd
ef, gan ddywedyd: Arglwydd, os mynni, ti a elli
fyng-lanhau.
3 x A'r Iesu a estynnodd ei law, ac a gyffyrddodd ag x Heb. 4, 15
ef gan ddywedyd, Mynnaf, glanhaer di: ac yn y fan Sal. 33, 9
ei wahan-glwyf ef a lanhawyd.
4 Yna y dywedodd yr Iesu wrtho, Gwel na ddyw-
edech wrth neb, eithr dos, ac ymddangos i'r offeiriad,
ac offrymma y rhodd a orchymynodd Moses er test-
iolaeth iddynt.
5 y Wedi dyfod yr Iesu i Capernaum y daeth atto ef y Luc 7, 3
Canwriad gan ddeisyfu arno,
6 z A dywedyd, Arglwydd y mae fyng-was yn gor- z Diar. 10
wedd gartref yn glaf o'r parlys, ac mewn poen ddir- 12
fawr.
7 a A'r Iesu a ddywedodd wrtho ef, Mi a'i hiachâf ef a Gal. 3, 18
pan ddelwyf. Act. 10, 34
8 A'r Canwriad ai hattebodd ef gan ddywedyd, Ar-
glwydd nid ydwyf deilwng i ddyfod o honot tann
fyng-bronglwyd, eithr yn unic dywet y gair, a'm
gwâs a iacheir.
9 b Canys dyn ydwyfi tann awdurdod, ac y mae b Esa. 45, 9
gennif filwyr tanaf, a dywedaf wrth hwn, Cerdda, ac
efe a aiff, ac wrth arall Tyret, ac efe a ddaw, ac wrth
fyng-was, Gwna hyn, ac efe a'i gwna.
10 c A'r Iesu wrth glywed hyn a ryfeddodd, ac a c Ioan 3, 1 3
ddywedodd wrth y rhai oeddynt yn canlyn, Yn wir
meddaf i chwi, ni chefais gymmaint ffydd yn yr Israel.
11 d Ac yr ydwyfi yn dywedyd i chwi, Y daw llawer d Mal. 1, 11
o'r dwyrain a'r gorllewyn, ac a eisteddant gyd âg Esa. 25, 6
Abraham, Isaac, a Iacob yn nheyrnas nefoedd.
12 e A phlant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch eithaf, e Rhuf. 9, 4
yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.
13 f Yna y dywedodd yr Iesu wrth y Canwriad, f Iago 5, 15
Dos ymaith, a megis y credaist bydded i ti: a'i was a
iachawyd yn yr awr hono.
14 g A phan ddaeth yr Iesu i dŷ Petr, efe a welodd g Marc 1, 26
ei chwegr ef yn gorwedd, ac yn glaf o'r cryd. Luc 4, 38
15 Ac efe a gyffyrddodd â'i llaw, a'r cryd a'i gadaw- 1 Cor. 9, 4

odd hi, ac hi a gododd i fynu, ac a wnaeth wasanaeth
iddynt hwy.
h Marc 1, 16 [b] Wedi ei hwyrhau hi, hwy a ddugasant atto ef
32 Gal. 6,10 lawer o rai cythreulic, ac efe a fwriodd allan yr ys-
prydion â'i air, ac efe a iachaodd yr holl gleifion,
i Esa. 53, 17 [i] Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy
4-5 Esaias y prophwyd gan ddywedyd, Efe a gymmerodd
Ioan 1,29 ein gwendid ni, ac a ddug ein clefydau.
j Act. 10, 18 [j] A'r Iesu yn gweled torfeydd lawer o'i amgylch
38 a orchymynnodd [iddynt] fyned trosodd i'r lann arall.
k Luc 9, 19 [k] A rhyw scryfennydd a ddaeth, ac a ddywedodd
57 wrtho, Athro, mi a'th ganlynaf i ba le bynnac yr
elech.
l Luc 2,7 20 [l] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y mae ffauau gan
y llwynogod, a chan ehediaid y nefoedd nythod, onid
gan Fab y dyn nid oes le i roddi ei ben i lawr.
m Luc 9,9 21 [m] Ac un arall o'i ddiscyblion a ddywedodd wrtho,
Arglwydd goddef i mi yn gyntaf fyned a chladdu fy
nhad.
n 2 Tim 2, 22 [n] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Canlyn fi, a gâd
4 ti i'r meirw gladdu eu meirw.
Luc 15,32 o Marc 4, 23 [o] Ac wedi iddo fyned i'r llong, ei ddyscyblion ai
36 canlynasant ef.
p Ioan 11, 24 [p] Ac wele, cynnwrf mawr a gyfodes yn y môr fel
14, 15 y cuddiwyd y llong gan y tonnau: eithr efe oedd yn
cyscu.
q 2 Cor. 20 25 [q] Yna y daeth ei ddiscyblion atto, ac a'i deffroas-
12 ant, gan ddywedyd, O Arglwydd, cadw ni, darfu am
danom ni.
r Phil. 4,6 26 [r] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham yr ydych
Sal. 65,7 yn ofnus O chwi o ychydig ffydd: yna y cododd efe,
Marc 4, ac y ceryddodd y gwyntoedd a'r môr, a bu dawelwch
36 mawr.
27 A'r dynion a ryfeddasant gan ddywedyd, Pa ryw
un yw hwn, canys y gwyntoedd a'r môr ydynt yn
ufuddhau iddo ef?
s Rhuf. 16 28 [s] Ac wedi ei ddyfod efe i'r lann arall i wlad y
20 Gergesiaid, dau ddiefylic a gyfarfuant âg ef, y rhai a
ddaethent o'r mynwentau yn dra creulon, fel na alle
neb fyned y ffordd hono.
t Iago 2, 29 [t] Ac wele hwy a lefasant, gan ddywedyd, Iesu
19 fab Duw beth sydd i ni (a wnelom) â thi? a ddaethost
Marc 5.6 Act. 16,17 ti ymma i'n poeni cyn yr amser?
2 Cor. 6, 30 [u] Ac yr oedd ym mhell oddi wrthynt genfaint o
14 Marc 5.8 foch lawer yn pori.
u Marc 5 31 [v] A'r cythreuliaid a ddeisyfiasant, gan ddywed-
11 yd, Os bwri ni allan, gad ti i ni fyned i'r genfaint foch.
v Dat 12, 32 Ac efe a ddywododd, Ewch, ac hwy gan fyned
12 allan, a aethant i'r genfaint foch: ac wele 'r holl gen-
Iob 1, 11 Dat. 20,1 faint foch a ruthrodd tros y dibin i'r mor, ac a fuant
feirw yn y dyfroedd.
33 Yna y ffoawdd y meichiaid, ac wedi eu dyfod
hwy i'r ddinas, hwy a fynegasant bob peth, a pha
beth a ddarfuase i'r rhai yr oedd y cythreuliaid yn-
ddynt.
w 2 Sam. 34 [w] Ac wele 'r holl ddinas a ddaeth allan i gyfarfod
4,7,8 â'r Iesu: a phan ei gwelsant, attolygasant iddo ym-
adael o'i cyffiniau hwynt.

## PEN. IX.

1 *Crist yn iachau'r parlys,* 9 *yn galw Mathew,* 18 *yn cyfodi merch y capten,* 20 *yn iachau'r wraig o'r haint gwaed,* 28 *yn rhoddi i ddau ddall eu golwg,* 32 *ac i fud-an leferydd,* 37 *Ac yn ystyried y cynhaiaf a'r cynhaiaf-wyr.*

AC efe a aeth i mewn i'r llong, ac a aeth trosodd,
ac a ddaeth iw ddinas ei hun.
2 [x] Ac wele, hwy a ddugasant atto wr claf o'r parlys, x Marc 2,
yn gorwedd mewn gwelu, a'r Iesu yn gweled eu ffydd 1 Thes. 1,
hwy, a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab cym- 3
mer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau. Sal. 32,1
3 [y] Ac wele, rhai o'r scrifennyddion a ddywedasant y Luc 5,
ynddynt eu hunain, y mae hwn yn cablu. 21
4 A phan welodd yr Iesu eu meddyliau y dywedodd,
Pa ham y meddyliwch ddrwg yn eich calonnau?
5 Canys pa un hawsaf ai dywedyd, Maddeuwyd i ti
dy bechodau, ai dywedyd, Cyfod a rhodia?
6 [z] Eithr fel y gwypoch fod meddiant i Fab y dyn ar z Col 1,17
y ddaiar i faddeu pechodau, (yna y dywedodd efe 1 Cor. 10,
wrth y claf o'r parlys) Cyfod, cymmer dy wely, a dos 31
i'th dŷ.
7 [a] Ac efe a gyfodes, ac a aeth ymmaith, iw dŷ ei a Marc 2,
hun. 12
8 [b] Felly pan welodd y dyrfa, rhyfeddu a wnaethant, b Luc 7,
a gogoneddu Duw, yr hwn a roese gyfryw awdurdod 16
i ddynion.
9 [c] Ac fel yr oeddyr Iesu yn myned oddi yno, efe a c 1 Tim. 1,
ganfu wr yn eistedd wrth y dollfa yr hwn a elwid 1, 13 2 Cor. 10,
Mathew, ac a ddywedodd wrtho, Canlyn fi, ac efe a 4
gyfodes, ac a'i canlynodd. Gal. 1,16
10 [d] Ac fe ddarfu a'r [Iesu] yn eistedd i fwytta yn d Luc 15,
nhŷ [hwnnw,] wele, Publicanod lawer a phechadur- 1
iaid a ddaethant, ac a eisteddasant gyd â'r Iesu a'i ddis-
cyblion.
11 [e] A phan welodd y Pharisæad [hynny] hwy a e Ioan 18,
ddywedasant wrth ei ddisgyblion ef, Pa ham y bwytu 46
eich Athro chwi gyd a'r Publicanod a phechaduriaid?
12 [f] A phan glybu 'r Iesu, efe a ddywedodd wrthynt, f Rhuf. 7,
Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddig, ond i'r rhai clei- 24
fion.
13 [g] Ond, ewch, a dysgwch pa beth yw [hyn,] trug- g Luc 16,
aredd yr ydwyf yn ei ewyllysio, ac nid aberth: canys 14 1 Tim. 1,
ni ddaethym i alw y rhai cyfiawn, ond y pechaduriaid 15
i edifeirwch. Tit. 1,11
14 [h] Yna y daeth discyblion Ioan atto, gan ddywed- h Rhuf. 10
yd, Pa ham yr ydym ni a'r Pharisæad yn ymprydio 2 Col. 1,21
llawer, a'th ddisgyblion di heb ymprydio? Luc 18 12
15 [i] A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A all plant priod- i Ioan 3,
fab alaru tra fyddo y priod-fab gydâ hwynt? ond y 29 Act. 14,
dyddiau a ddeuant pan ddyger y priod-fab oddi ar- 23
nynt, ac yna yr ymprydiant.
16 [j] Hefyd ni rydd neb lain o frethyn cri mewn hen j Sal. 105,
wisc: canys yr angwhanegiad a dynn [beth] oddi 14
wrth y wisc: a'r rhwygfa fydd yn waeth.
17 Ac ni ddodant win newydd mewn costrelau hen:
canys felly y torre y costrelau, ac y gollyngid y gwin
allan, ac y collid y costrelau: eithr gwin newydd a
ddodant mewn costrelau newydd, ac [felly] y cedwir
y ddau.
18 [k] Tra yr oedd efe yn dywedyd hyn wrthynt, wele, k Ex. 7,
daeth rhyw bennaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywed- 12 2 Tim. 3,8
yd, Fe a fu farw fy merch yr awr hon, eithr tyret a 9
gosot dy law arni, a byw fydd hi. Marc 5,
19 [l] A'r Iesu a godes, ac a'i canlynodd ef, ai ddiscybl- 22 Luc 8,13
ion. l 1 Cor. 9,
20 [m] Ac wele wraig yr hon y buase y gwaed-lif arni 22 m Ioan 5,
ddeuddeng mhlynedd, a ddaeth o'r tu cefn iddo, ac a 5
gyffyrddodd ac ymyl ei wisc ef. Marc 5,
21 [n] Canys hi a ddywedase ynddi ei hun, Os gallaf 26 Mal. 4,2
gyffwrdd a'i wisc ef yn unic, iach fyddaf. n Iago 1, 17
22 [o] Yna yr Iesu a drodd, a phan ei gwelodd hi, a o Sal. 41,1
ddywedodd, Ha ferch bydd gyssurus, dy ffydd a'th
iachaodd, a'r wraig a iachawyd o'r awr honno allan.

p Marc 6, 23 [p] A phan ddaeth yr Iesu i dŷ 'r pennaeth, a gwel-
38 ed y cerddorion a'r dyrfa yn terfyscu.
q Luc 16, 24 [q] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch ymmaith,
14 can nad marw 'r llangces, onid cyscu y mae hi: ac
hwynt ai gwatwarasant ef.
r Marc 5 25 [r] Ac wedi bwrw y dyrfa allan, efe a aeth i mewn,
41 ac a ymaflodd yn ei llaw hi, ar llangces a gyfodes.
26 A'r gair o hyn a aeth tros yr holl dir hwnnw.
s Luc 7, 4 27 [s] Ac fel yr oedd yr Iesu yn myned oddi yno, dau
Iago 5, 16 ddeillion ai canlynasant ef gan lefain a dywedyd, Mab
Rhuf. 8, Dafydd trugarha wrthym.
15 28 Ac wedi iddo ddyfod i'r tŷ, y deillion a ddaethant
atto a'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A ydych chwi yn
credu y gallafi wneuthur hyn? Ac hwy a ddywedas-
ant wrtho, Ydym Arglwydd.
29 Yna y cyffyrddodd efe a'u llygaid, gan ddywed-
yd, Yn ol eich ffydd bydded i chwi.
t Ioan 9, 30 [t] A'u llygaid a agorwyd, a'r Iesu a orchymynodd
26 iddynt tann fygwth gan ddywedyd, Gwelwch na's
1 Cor. 7, gwypo neb.
17
u Deut 18 31 [u] Onid wedi iddynt ymado, hwy ai clodforasant ef
6 trwy 'r tir hwnnw.
Rhuf. 10,
16 32 Ac hwynt yn myned allan, wele, [rai] yn dwyn
atto fudan a chythrael ynddo.
v Ex. 4, 11 33 [v] Ac wedi bwrw y cythrael allan o honaw, llefar-
Ioan 7, 49 odd y mudan, a rhyfeddodd y dyrfa, gan ddywedyd,
Ni welwyd y cyffelyb er ioed yn Israel.
w Preg. 34 [w] A'r Phariseaid a ddywedasant, Trwy bennaeth
4, 4 y cythreuliaid y mae efe yn bwrw allan gythreuliaid.
35 A'r Iesu a aeth o amgylch yr holl ddinasoedd,
a'r trefydd gan ddyscu yn eu Sinagogau, a chan bre-
gethu Efengyl y deyrnas, a chan iachau pob clefyd,
a phob afiechyd ym mhlith y bobloedd.
x Luc 10, 36 [x] A phan welodd efe y dyrfa, efe a dosturiodd
33 wrthynt, am eu bod wedi blino, a'u gwascaru fel de-
Ezec. 34, faid heb iddynt fugail.
1, 6
y Ioan 4, 37 [y] Yna y dywedodd efe wrth ei ddiscyblion, Y
34 cynhaiaf yn ddiau sydd fawr, a'r gweithwyr yn anaml,
z Ex. 4, 10 38 [z] Am hynny attolygwch i Arglwydd y cynhaiaf,
13 yrru gweith-wyr i'w gynhaiaf.

## PEN. X.

*Crist yn rhoddi iw Apostolion awdurdod i iachau clefydau; ac i bregethu yr Efengyl.* 13 *Gan rybuddio pa lwyddiant a pha flinder a gaent hwy.* 22 *A chan eu hannog i barhau yn ddioddefgar.* 24 *Am i Grist ddioddef yn gyntaf.* 30 *Am fod Duw yn gofalu trosom fel na wnelo ein dioddefaint niwed.* 37 *Am y dylem garu Duw yn fwy na dim bydol.* 39 *Ac am fod yn ffyddiol dioddef hyd farwolaeth er mwyn Crist.* 40 *Ac yn ddiweddaf y mae yn annog i dderbyn a mawrhau pregeth-wyr.*

a Luc 9, 1 AC [a] efe a alwodd eu ddeuddec discybl atto, ac a
Marc 9, roddes iddynt allu yn erbyn ysprydion aflan, i'w
15
Act. 16, 18 bwrw hwy allan, ac i iachau pob clefyd a phob af-
iechyd.
b Dat. 21, 2 [b] A henwau y deuddec Apostol yw y rhai hyn: y
14 cyntaf, Simon yr hwn a elwir Petr, ac Andreas ei
frawd, Iaco [mab] Zebedeus, ac Ioan ei frawd.
c 1 Tim. 1 3 [c] Philip, a Bartholomeus: Thomas, a Mathew y
3 publican: Iaco [mab] Alpheus, a Lebbeus yr hwn a
gyfenwid Thadeus:
d Ioan 11, 4 [d] Simon y Canaanead, ac Iudas Iscariot yr hwn
hefyd a'i bradychodd ef.
e Heb. 5, 5 [e] Y deuddec hyn a yrrodd yr Iesu ymmaith, ac a
Act. 1, 8 orchymynnodd iddynt, gan ddywedyd, Nac ewch i
ffordd y cenhedloedd, ac na ddeuwch i ddinasoedd y
Samariaid.

6 [f] Eithr ewch yn hytrach at gyfrgolledig ddefaid f Act. 13,
tŷ Israel. 46
7 [g] Ac wrth fyned pregethwch gan ddywedyd Fod g 1 Tim. 3
teyrnas nefoedd yn agos. 1
8 [h] Iachewch y cleifion, glanhewch y rhai gwahan- h 1 Cor 15
glwyfus, cyfodwch y meirw, bwriwch allan gythreul- 10
iaid, derbynniasoch yn rhâd rhoddwch yn rhâd. 1 Pedr 5,
2
9 Na feddwch aur, nac arian, nac efydd i'ch pyrsau.
10 [i] Nac screpan i'r daith, na dwy bais, nac escidiau, i 1 Tim.
na ffonn: canys teilwng i'r gweithiwr ei fwyd. 5, 18
Gal. 6, 6
11 [j] Ac i ba ddinas bynnac, neu dref yr eloch, ymo- j Act. 16,
fynnwch pwy sydd addas ynddi, ac yno trigwch, hyd 15
onid eloch ymmaith. Luc 10, 7
12 A phan ddeloch i dŷ, cyferthwch iddo gan ddy-
wedyd, Tangneddyf i'r tŷ hwn.
13 [k] Ac os bydd y tŷ yn deilwng, deued eich tang- k Luc 19,
neddyf arno: ac oni bydd yn deilwng, dychweled 5
eich tangneddyf attoch. Act. 13,
46
14 [l] A phwy bynnac ni'ch derbynio chwi, ac ni l Marc 6,
wrandawo eich geiriau, pan ymadawoch o'r tŷ hwnw, 11
neu o'r ddinas honno, escytwch y llwch oddiwrth Act. 13,
eich traed. 51
15 Yn wir meddaf i chwi, y bydd esmwythach i dir
y Sodomiaid, a Gomoriaid yn nydd y farn, nag i'r
ddinas honno.
16 [m] Wele yr ydwyfi yn eich danfon fel defaid ym m Ezec. 2
mysc bleiddiaid: byddwch am hynny mor gall â seirph, 6
ac mor ddiniwed a cholomennod. Col. 4, 5
17 [n] Eithr ymogelwch rhag dynion, canys hwy a'ch n Ioan 2
rhoddant chwi i fynu i'r cyngor, ac a'ch ffrewyllant 24
chwi yn eu Synagogau. Act. 4, 18
18 [o] A chwi a ddygir at raglawiaid a brenhinoedd o Act. 24,
o'm hachos i, er testiolaeth iddynt, ac i'r cenhedloedd. 10
a 12, 1
19 [p] Eithr pan i'ch rhoddant chwi i fynu, na ofel- Phil 1, 13
wch pa fodd neu pa beth a lefaroch: canys rhoddir i p Marc 13
chwi yn yr awr honno pa beth a lefaroch. 11
20 [q] Canys nid chwy-chwi yw'r rhai sy yn llefaru, q Act. 4,
onid Yspryd eich Tâd yr hwn sydd yn llefaru ynoch. 13
Sal. 8, 3
21 [r] A'r brawd a fradycha'r brawd i farwolaeth, a'r r Luc 21,
tad y mab, a'r plant a godant yn erbyn eu tâd a'u mam, 16
ac a barant eu marwolaeth hwynt.
22 [s] A châs fyddwch gan bawb er mwyn fy enw: s Luc 21,
ond yr hwn a barhauo hyd y diwedd, efe fydd cadwedic. 17
Dat. 2, 10
23 [t] A phan i'ch erlidiant yn y ddinas hon, ffoiwch t Luc 4,
i un arall: canys yn wir y dywedaf wrthych, na or- 30
phennwch [holl] ddinasoedd Israel nes dyfod Mâb y
dŷn.
24 Nid yw'r discybl yn uwch nâ'i athro, na'r gwâs
yn uwch na ei arglwydd.
25 [u] Digon i'r discybl fôd fel ei athro, a'r gwâs fel ei u 2 Sam.
arglwydd: os galwasant berchen y tŷ yn Beelzebub, 11, 11
pa faint mwy [y galwant] ei dŷ-lwyth ef?
26 [v] Am hynny nac ofnwch hwy, oblegit nid oes v Sal. 37,
dim cuddiedic a'r nas datcuddir, na dim dirgel a'r na 6
ddaw i wybodaeth. a 37, 6
27 [w] Yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd wrthych w Deut.
chwi yn y tywyllwch, dywedwch yn y goleuni: a'r 23, 8
hyn a glywch yn eich clust pregethwch ar [ben] y tai.
28 [x] Ac nac ofnwch y rhai a laddant y corph, ac ni x Act. 4,
allant ladd yr enaid, eithr yn hytrach ofnwch yr hwn a 19
ddichon ddestruwio yr enaid gyd â'r corph yn uffern. Dan 3, 16
Sal. 2, 11
29 Oni werthir dau aderyn y tô er ffyrling? ac ni y 2 Sam.
syrth yr un o honynt i'r llawr heb eich Tâd chwi. 11, 11
30 [y] Ac y mae hefyd eich holl wallt wedi eu cyfrif. Act. 27,
34
31 [z] Nac ofnwch gan hynny, chwi a delwch fwy na z 1 Cor. 9,
llawer o adar y tô. 9
Sal. 8, 5

a Luc 12, 8 Marc 8, 38 — 32 a Pwy bynnac gan hynny a'm cyffesa fi yng-ŵydd
dynion, minnef ai cyffesaf yntef yng-ŵydd fy Nhâd
yr hwn sydd yn y nefoedd.
b 2 Tim. 2, 12 Dat. 21, 8 — 33 b A phwy bynnac a'm gwado i yng-ŵydd dynion,
minnef ai gwadaf yntef yng-ŵydd fy Nhâd yr hwn
sydd yn y nefoedd.
c Luc 12, 51 — 34 c Na thybygwch fy nyfod i ddanfon tangneddyf
ar y ddaiar: ni ddaethym i ddanfon tangneddyf, ond
cleddyf.
35 Canys mi a ddaethym fel yr ymryfaelie dŷn yn
erbyn ei dâd, a merch yn erbyn ei mam, a gwaudd
yn erbyn ei chwegr.
d Ioan 7, 3, 4 — 36 d A gelynnion dŷn fydd tŷ-lwyth ei dŷ ei hun.
e Luc 14, 26 — 37 e Yr hwn sydd yn caru tâd neu fam yn fwy nâ
myfi, nid yw deilwng o honofi, a'r neb sydd yn caru
mâb neu ferch yn fwy na myfi, nid yw deilwng o
honofi.
f Ioan 1, 7 — 38 f A'r hwn nid yw yn cymmeryd ei groes, ac yn
canlyn ar fy ôl i, nid yw deilwng o honofi.
39 g Y neb sydd yn cael ei einioes, a'i cyll: a'r neb
g Ioan 12, 25 Luc 9, 24 — a gollodd ei einioes o'm plegit i, a'i caiff hi.
h Ioan 13, 20, 21 — 40 h Y neb sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy
nerbyn i: a'r neb sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn
2 Cor. 5, 20 — yr hwn a'm danfonodd i.
i 1 Bren. 18, 17 — 41 i Y neb sydd yn derbyn prophwyd yn enw pro-
phwyd, a dderbyn wobr prophwyd, a'r neb sydd yn
derbyn [un] cyfiawn yn enw [un] cyfiawn, a dderbyn
wobr [un] cyfiawn.
j Marc 9, 41 2 Cor. 9, 6 — 42 j A phwy bynnac a roddo i'r un o'r rhai bychain
hyn phioled o [ddwfr] oer yn unic yn enw discybl,
yn wir y dywedaf i chwi, ni chyll efe ei wobr.

## PEN. XI.

1 *Crist yn pregethu.* 2 *Ioan yn danfon ei ddiscyblion at Grist.* 21 *Dialedd Duw yn erbyn gwrandawyr annïolchgar.* 25 *A'r diolch a roddodd Crist am egluro o'r Tâd yr Efengyl i'r dynion gwirion.*

k 2 Tim. 4, 2 Esa. 56, 10 — AC k DARFU wedi gorphen o'r Iesu orchymyn i'w
ddeuddec Apostol, iddo ef fyned oddi yno i
ddyscu a phregethu yn eu dinasoedd hwy.
l Ioan 1, 29 a 3, 26 — 2 l A phan glybu Ioan yng-harchar [am] weithred-
oedd Crist, efe a ddanfonodd ddau o'i ddiscyblion, ac
a ddywedodd wrtho,
3 Ai tydi yw'r hwn a ddaw, ai disgwil yr ydym ni
am arall?
m Ioan 5, 36 Diar. 31, 31 — 4 m A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
ewch a mynegwch i Ioan y pethau a glywsoch, ac a
welsoch.
n Esa. 35, 5 — 5 n Y mae'r deillion yn gweled eil-waith, a'r cloffion
yn rhodio: a'r cleifion gwahanol wedi eu glanhau,
a'r byddariaid yn clywed: y mae y meirw yn cyfodi,
a'r tlodion yn cael pregethu yr Efengyl iddynt.
o Esa. 8, 14 — 6 o A dedwydd yw'r hwn ni rwystrir o'm plegit i.
p Luc 7, 24 Ioan 5, 35 Act 14, 11 — 7 p A hwy yn myned ymaith, yr Iesu a ddechreuodd
ddywedyd wrth y dyrfa am Ioan, Pa beth yr aethoch
allan i'r anialwch i edrych am dano? ai corsen yn
escwyd gan y gwynt?
q 1 Thes. 2, 14 Gal. 1, 10 — 8 q Eithr pa beth yr aethoch iw weled? ai dŷn wedi
ei wisco â dillad esmwyth? wele y rhai sy yn gwisco
dillad esmwyth, mewn tai brenhinoedd y maent.
r Ioan 1, 21 Luc 1, 76 — 9 r Eithr pa beth yr aethoch chwi iw weled? a'i pro-
phwyd? Ie, meddaf i chwi, a mwy nâ phrophwyd.
s Mal. 3, 1 — 10 s Canys hwn ydyw y neb y mae yn 'scrifennedic
am dano, Wele yr ydwyf yn anfon fyng-hennad o
flaen dy wyneb, yr hwn a baratoa dy ffordd o'th flaen.
t Luc 7, 28 Col 1, 26 Ioan 1, 19 — 11 t Yn wir meddaf i chwi, ym mhlith plant gwra-
gedd ni chododd neb mwy nag Ioan fedyddi-wr, er
hynny yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas nefoedd sydd
fwy nag ef.
u Luc 16, 16 Ioan 6, 27 — 12 u Ac o amser Ioan fedyddi-wr hyd hyn, y treisir
teyrnas nefoedd, a'r treiswŷr sy yn myned â hi wrth
nerth.
v Gal. 3, 24 Rhuf. 3, 10 — 13 v Canys yr holl brophwydi a'r gyfraith, a bro-
phwydasant hyd Ioan.
14 w Ac os ewyllysiwch ei dderbyn, efe yw Elias yr
w Diar. 26, 32 Luc 1, 7 — hwn oedd ar ddyfod.
15 Y neb sydd iddo glustiau i wrando gwrandawed.
x Dat. 3, 15 — 16 x Eithr i ba beth y cyffelybaf y genhedlaeth hon
hon? cyffelyb yw i blant yn eistedd yn y marchnad-
oedd, ac yn llefain wrth eu cyfeillion.
17 Ac yn dywedyd, Canasom bibell i chwi, ac ni
ddawnsiasoch: canasom alarnad i chwi, ac ni chwyn-
a 1 Pedr 3, 2 — fanasoch.
18 a Canys daeth Ioan heb na bwytta nac yfed, ac
b 2 Cor. 9, 19 — meddant, Y mae cythrael ganddo.
Luc 7, 29 — 19 b Daeth Mâb y dŷn yn bwytta ac yn yfed, ac
meddant, Wele ddŷn glwth, ac yfwr gwin, cyfaill
publicanod a phechaduriaid: a doethineb a gyfiawn-
c Luc 10, 13 — hauwyd gan ei phlant ei hun.
20 c Yna y dechreuodd efe edliw i'r dinasoedd, yn
y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd
d 1 Pedr 3, 20 — mawrion ef, am nad edifarhausent.
Ioan 3, 6 — 21 d Gwae tydi Corazin: gwae tydi Bethsaida: canys
pe gwnaethid yn Tirus a Sidon y gwyrthiau a wnaeth-
Act 17, 3 e Heb. 2, 2 a 10, 23 — pwyd ynoch chwi, hwy a edifarhausent er ys talm
mewn lliain sach a lludw.
22 e Eithr dywedaf i chwi, Mai esmwythach fydd i
Tyrus a Sidon yn nydd y farn nag i chwi.
23 A thydi Capernaum yr hon a ddyrchefir hyd y
nefoedd, a dynnir i lawr hyd yn uffern: canys pe
f 2 Thes. 1, 9 — gwnaethid yn Sodoma y gwyrthiau a wnaethpwyd
ynot ti, hwy a fuasent yn aros hyd heddyw.
24 f Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi, mai es-
g Col. 1, 26 — mwythach fydd i dir Sodoma yn-nydd y farn nag i ti.
1 Cor. 1, 26 — 25 g Yn yr amser hynny yr attebodd yr Iesu, ac efe a
ddywedodd, I ti yr ydwyf yn diolch O Dad, Arglwydd
h Eph. 1, 4, 5 — nef a ddaiar am i ti guddio y pethau hyn rhag y doeth-
ion a'r rhai call, ai dangos o honot i'r rhai bychain.
i Heb. 1, 4 Ioan 6, 44 — 26 h Diau O Dad, mai felly y rhyngodd bodd i ti.
27 i Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad: ac nid
edwyn neb y Mab, eithr y Tad: ac nid edwyn neb y
Tad ond y Mab: a'r hwn yr ewyllysio'r Mab ei ddang-
j Act. 4, 12 — os iddo.
Eph. 1, 12 — 28 j Dewch attafi bawb a'r sydd yn flinderog ac yn
k Act. 15, 10 — llwythog, ac mi a esmwythâf arnoch.
29 k Cymmerwch fy iau arnoch, a dyscwch gennif.
am fy mod yn fwyn: ac yn ostyngedig o galon: a chwi
l Ioan 5, 3 — a gewch orphywysdra i'ch eneidiau.
30 l Canys fy iau sydd esmwyth a'm baich sydd yscafn.

## PEN. XII.

1 *Y discyblion yn tynnu tywys yr ŷd.* 10 *Crist yn iachau'r llaw ddiffrwyth.* 22 *Efe yn gwared y dall, mud, cythreulic.* 25 *Ac yn amddeffyn ei waith.* 31 *Am gabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân.* 33 *Y pren da, a'r drwg.* 42 *Y Ninifeaid a brenhines Saba yn siampl i'r Iuddewon.* 48 *Gwir fam a brodyr Crist.*

m Marc 2, 23 Deut. 23, 25 — YR m amser hynny yr aeth yr Iesu ar y dydd Sab-
both trwy'r ŷd, ac yr oedd chwant bwyd ar ei
ddiscyblion ef, ac hwy a ddechreuasant dynnu tywys
yr ŷd, a bwytta.
n Esa. 58, 13 — 2 n A phan welodd y Phariseaid, y dywedasant wrtho,
Wele, dy ddiscyblion yn gwneuthur yr hyn nid yw
gyfraithlawn ei wneuthur ar y Sabboth.

o1 Sam. 21,3,4,5 3 o Ac efe a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllenas-
och pa beth a wnaeth Dafydd pan oedd arno newyn,
a'r rhai oeddynt gyd âg ef?
p1 Sam. 19,9 4 p Fel y daeth efe i mewn i dŷ Dduw, ac y bwyttaodd
y bara gosod, yr hwn nid oedd gyfreithlon iddo ei
fwytta, nac i'r rhai oeddynt gyd âg ef, onid yn unic
i'r offeiriaid?
qDiar 26 5 q Neu, oni ddarllenasoch yn y gyfraith fod yr off-
Lef. 34,8 eiriaid ar y Sabboth yn y Deml yn torri yr Sabboth,
a'u bod yn ddiargyoedd?
6 Eithr yr ydwyfi yn dywedyd i chwi fod ymma un
mwy na'r Deml.
rMarc 9, 13 7 r Ond pe gwyddech pa beth yw hyn, Trugaredd a
ewyllysiaf, ac nid aberth, ni farnasech chwi yn erbyn
y rhai diniwed.
8 Canys Arglwydd ar y Sabboth yw Mab y dyn.
sMarc 3, 1 9 s Ac efe a basiodd oddi yno, ac a aeth i'w Syna-
gog hwynt.
tLuc 6,6 10 t Ac wele, yr oedd yno ddyn â'i law wedi di-
Sal. 9,11 ffrwytho: ac hwy a ofynnasant iddo, gan ddywedyd,
Iob13,14 Ai cyfreithlawn iachau ar y Sabboth? fel y gallent ei
gyhuddo ef.
11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddyn o honoch
fydd, ac iddo un ddafad, ac o syrth honno mewn pwll,
ar y dydd Sabboth, nid ymeifl ynddi a'i chodi allan?
u Tit. 1, 11 12 u Pa faint gwell gan hynny ydyw dyn na dafad?
ac felly cyfreithlawn yw gwneuthur yn dda ar y dydd
Sabboth.
v Sal. 29 4 13 v Yna y dywedodd efe wrth y dyn, Estyn dy law,
ac efe a'i hestynnodd: a hi a wnaed yn iach fel y llall.
wPen.11 16,17 14 w Yna'r aeth y Pharisæaid allan, ac a ymgynghor-
asant yn ei erbyn ef, pa fodd y gallent ei ddifetha ef.
xPhil. 1, 12 15 x A phan wybu yr Iesu hynny, efe a giliodd oddi
yno, a thyrfa fawr ai dilynodd ef, ac efe ai hiachaodd
hwynt oll.
16 Ac a orchymynodd iddynt na chyhoeddent ef.
17 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy Esaias
y prophwyd, gan ddywedyd,
yPhil. 2, 7 18 y Wele fyng-wasanaeth-wr yr hwn a ddewisais, fy
Esa 42,2 Ioan3,34 annwylyd yn yr hwn y mae fy enaid yn fodlon: gosod-
af fy Yspryd arno, ac efe a ddengys farn i'r cenhedl-
oedd.
19 Nid ymryson efe, ac ni lefain, ac ni chlyw neb ei
lais ef yn yr heolydd?
zEsa. 40, 1 20 z Ni thyrr efe gorsen yssig, ac ni ddiffydd efe lin
Sal. 10,3 yn mygu, hyd oni ddygo farn i fuddugoliaeth.
Sal.9,10 21 a Ac yn ei enw ef y gobeithia y cenhedloedd.
Marc 3, 9 22 Yna y dygbwyd atto un cythreulic, dall a mud, ac
efe ai iachaodd ef, fel y llefarodd, ac y gwelodd yr hwn
[a fuase] ddall a mud.
Sal. 111 3 23 b A synnodd ar yr holl bobl, gan ddywedyd, Onid
hwn yw Mab Dafydd?
Ier. 5,3 Act 17,18 24 c Eithr pan glybu y Pharisæaid, hwy a ddywed-
asant, Nid yw hwn yn bwrw allan gythreuliaid onid
trwy Beelzebub pennaeth y cythreuliaid.
Heb. 4, Sal. 5,15 25 d A'r Iesu yn gwybod eu meddyliau a ddywed-
odd wrthynt, Pob teyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn
ei hun, a aiff yn anghyfannedd, a phob dinas neu dŷ
wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun ni saif.
26 Felly os Satan a fwrw allan Satan, y mae efe
wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun: pa wedd gan
hynny y saif ei deyrnas ef?
Marc 9, 3 27 e Ac os trwy Beelzebub yr ydwyfi yn bwrw allan
Act18,23 gythreuliaid, trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu
Ioan 3, bwrw hwynt allan? ac am hynny y byddant hwy yn
farn-wŷr arnoch.

28 f Eithr os ydwyf yn bwrw allan gythreuliaid trwy fLuc11, 20
Yspryd Duw, yna y daeth teyrnas Dduw attoch. Ex. 8,19
29 g Canys pa fodd y dichon neb fyned i mewn i dŷ y gEph.6, 12
cadarn, ac yspeilio ei dŷ, oddi eithr iddo yn gyntaf 1Ioan3,8
rwymo y cadarn: ac yna yr yspeilia efe ei dŷ ef.
30 Y neb nid yw gyd â mi, sydd yn fy erbyn: a'r
neb nid yw yn casglu gyd â mi, sydd yn gwascaru.
31 h Am hynny y dywedaf wrthych chwi, pob pech- hMarc 3, 28
od a chabledd a faddeuir i ddynion: onid cabledd yn Heb. 6,4
erbyn yr Yspryd ni faddeuir i ddynion
32 i A phwy bynnac a ddywedo air yn erbyn Mab y iHeb.2,5 Act.5,19
dyn, fe a faddeuir iddo: onid pwy bynnac a ddywedo
yn erbyn yr Yspryd Glân, nis maddeuir iddo, nac yn
y byd hwn, nac yn y byd a ddaw.
33 j Naill ai gwnewch y pren yn dda, a'i ffrwyth yn jTit.1,15
dda, ai gwnewch y pren yn ddrwg, a'i ffrwyth yn
ddrwg: canys y pren a adweinir wrth ei ffrwyth.
34 k Oh, genhedloedd gwiberod, pa wedd y gell- k Hag.2, 14
wch ymadrodd pethau da a chwi yn ddrwg? canys Sal. 37,
o helaethrwydd y galon y llefara y genau. 30, 31
35 l Y dyn da o dryssor da ei galon a ddwg allan lDiar. 10 20, 21
bethau da, a dyn drwg o dryssor drwg a ddwg allan
bethau drwg.
36 m Eithr yr ydwyf yn dywedyd wrthych, Mai am mEph.5, 6
bob gair segur a ddywed dynion, y rhoddant hwy Preg. 12 14
gyfrif yn nydd y farn.
37 n Canys wrth dy eiriau i'th gyfiawnheir, ac wrth Rhuf. 14 12
dy eiriau i'th gondemnir. nRhuf.2, 23
38 o Yna'r attebodd rhai o'r 'scrifennyddion, a'r o Luc 11 16 29
Pharisæaid gan ddywedyd, Athro, chwenychem weled
arwydd gennit. Iago4,17
39 p Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, 1 Cor. 1 22
Cenhedlaeth ddrwg odinebus sydd yn ceisio arwydd, pEsa.3 9
eithr ni roddir iddi ond arwydd y prophwyd Ionas. Luc 16 29 31
40 Canys fel y bu Ionas dri-diau a thair nos ym mol
y morfil, felly y bydd Mab y dyn dri-diau a thair nos
yng-halon y ddaiar.
41 q Gwŷr Ninefeh a gyfodant yn y farn gyd â'r qIona3 6 10
genhedlaeth hon, ac a'i condemniant, am iddynt hwy
edifarhau wrth bregeth Ionas: ac wele un mwy nag
Ionas ymma.
42 r Brenhines y dehau a gyfyd yn y farn gyd â'r rCol. 2 3
genhedlaeth hon, ac a'i condemnia hi: am iddi hi
ddyfod o eithafon y ddaiar, i glywed doethineb
Salomon, ac wele un mwy na Salomon ymma.
43 s A phan êl 'r yspryd aflan allan o ddyn, efe a s Luc 11 24
rodia ar hyd lleoedd sychion, gan geisio gorphwyso, ac Act. 8 13
heb gael. Iob 1 7
44 t Yna medd efe, mi a ddychwelaf i'm tŷ o'r lle y Luc22 31
daethym, ac wedi y delo, y mae yn ei gael yn wag, t1Pedr 5 9
wedi ei yscubo a'i drwsio. Gal. 5 19 20 21
45 u Yna yr aiff efe, ac a gymmer atto saith yspryd u2Pedr2 20
eraill scelerach nag ef ei hun, a hwy a ânt i mewn,
ac a drigant yno, a gwaeth fydd diwedd y dyn hwnnw
na'i ddechreuad: ac felly y bydd i'r genhedlaeth
ddrwg hon.
46 v Tra ydoedd efe yn llefaru wrth y dyrfa wele ei vMarc 3 31
fam a'i frodyr yn sefyll allan, yn ceisio ymddiddan Act 13 16
âg ef.
47 w Yna y dywedodd un wrtho ef, Wele dy fam wMarc 3 31
a'th frodyr yn sefyll allan yn ceisio ymddiddan â thi.
48 x Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrth hwn a xIoan2 4
ddywedase wrtho, Pwy yw fy mam? a phwy yw fy
frodyr?
49 y Ac wedi iddo estyn ei law tu âg at ei ddiscybl- yLuc 8 2 3
ion efe a ddywedodd, Wele fy mam a'm brodyr.

zRhuf. 2 50 z Canys pwy bynnac a wna ewyllys fy Nhad yr
12 hwn sydd yn y nefoedd, efe yw fy mrawd, fy chwaer,
Iagol 22 a'm mam.

## PEN. XIII.

1 *Eglurdeb am gyflwr teyrnas Dduw trwy ddammeg yr had,* 34 *yr achos yr ymddiddanodd Crist trwy ddamhegion,* 24 *Damhegion eraill am yr efrau,* 31 *am yr had mustard,* 33 *am y sur-does,* 44 *am y tryssor cuddiedig,* 45 *am y perl,* 47 *ac am y rhwyd,* 53 *Crist yn cael ei esceuluso gan ei wlad-wyr ei hun.*

aGal. 6 9 Y a DYDD hwnnw yr aeth yr Iesu allan o'r tŷ, ac
Marc 4 1 yr eisteddodd efe wrth lann y môr.
bLuc 8 4 2 b A phobl lawer a ymgynnullasent atto ef, hyd oni
[orfu] iddo ef fyned i'r llong, ac eistedd: a'r holl
dyrfa a safodd ar y lann.
cLuc 8 5 3 c Yna y llefarodd efe wrthynt lawer o bethau drwy
ddamhegion, gan ddywedyd, Wele'r hau-wr a aeth
allan i hau.
4 Ac fel yr oedd efe yn hau, peth a syrthiodd ar hyd
y ffordd, a'r adar a ddaethant, ac a'i difasant.
dGen. 29 5 d Peth a syrthiodd ar dir caregog lle ni chawsant
3 fawr ddaiar, ac yn y man y tyfasant, can nad oedd
Luc14 28 iddynt ddyfnder daiar.
eEph3 17 6 e Ac wedi cyfodi'r haul y poethasant, ac o eisieu
gwreiddio y gwywasant.
f Ier. 4 3 7 f A pheth a syrthiodd ym mhlith drain, a'r drain a
Ezec 33, godasant, ac a'u tagasant hwy.
31
gIob15 2 8 g Peth hefyd a syrthiodd mewn tir da, ac a ddug-
Pen12 20 asant ffrwyth, peth ar ei ganfed, arall ar ei drugein-
fed, arall ar ei ddecfed ar hugain.
9 Y neb sydd iddo glustiau i wrando, gwrandawed.
hLuc 8 9 10 h Yna y daeth y discyblion, ac a ddywedasant
Diar.2 3 wrtho, Pa ham yr ydwyt yn llefaru wrthynt trwy
ddamhegion?
i Esa. 29 11 i Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Am
14 roddi i chwi wybod dirgelwch teyrnas nefoedd, ac ni
1Cor.4 3 roddwyd iddynt hwy.
jPhil.1 6 12 j O blegit pwy bynnac sydd ganddo, i hwnnw y
Ioan1 50 rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd: eithr pwy bynnac
Luc 8 18 nid oes ganddo, oddi arno ef y dygir yr hyn sydd
ganddo.
k Ioan 6 13 k Am hynny yr ydwyf yn llefaru wrthynt hwy ar
30 ddamhegion: canys hwy yn gweled, nid ydynt yn
gweled: ac yn clywed, nid ydynt yn clywed, nac yn
deall,
l Marc 4 14 l Felly ynddynt hwy y cyflawnwyd prophwydol-
12 iaeth Esaias, yr hon sydd yn dywedyd, Gan glywed y
Rhuf. 11 clywch, ac ni ddehellwch, ac yn gweled y gwelwch, ac
8 ni chanfyddwch.
m Sal. 17 15 m Canys brashauwyd calon y bobl hyn, ac hwy a
10 glywsant a'u clustiau yn drwm, ac a gaeasant eu llygaid,
Eph.4 18 rhag canfod â'r llygaid, a chlywed â'r clustiau a deall
Luc 2 30 â'r galon, a throi fel yr iachawn i hwynt.
16 Eithr dedwydd yw eich llygaid chwi, am eu bod
yn gweled, a'ch clustiau, am eu bod yn clywed.
n Ioan 8 17 n O blegit yn wir y dywedaf i chwi, mai llawer o
56 brophwydi a rhai cyfiawn a ddeisyfiasant weled y peth-
Luc10 24 au a welwch chwi, ac ni welsant: a chlywed yr hyn a
Eph. 3 5 glywch chwi, ac ni chlywsant.
Rhuf. 16
25 26 18 Gwrandewch chwithau ddammeg yr hau-wr,
oAct. 13 19 o Pa bryd bynnac y clyw neb air y deyrnas, ac efe
46 heb ei ddeall, y mae y drwg yn dyfod, ac yn cippio'r
Rhuf. 1 hyn a hauwyd yn ei galon ef: ac dymma'r hwn a
16 hauwyd ar hyd y ffordd.
Marc 4
15
pMarc 6 20 p A'r hwn a hauwyd yn y tir caregog, yw 'r un
20

sydd yn gwrando y gair, ac yn ebrwydd drwy lawenydd
yn ei dderbyn.
21 q Ond nid oes wreiddin ynddo ei hun, a thros q 1Tim.
amser y mae efe: a phan ddelo trallod neu erlid o ble- 3 4
git y gair, yn y fan efe a rwystrir. Ioan6 60
22 r A'r hwn a hauwyd ym mhlith y drain, yw 'r hwn r1Tim. 6
sydd yn gwrando y gair: onid gofal y byd hwn, a 9 10
thwyll cyfoeth sydd yn tagu y gair, ac yr ydys yn ei
wneuthur ef yn ddiffrwyth.
23 s Ond yr hwn a hauwyd yn y tir da, yw yr hwn sIoan 15,
sydd yn gwrando y gair, ac yn ei ddeall, sef yr hwn 4
sydd yn dwyn, ac yn rhoddi ffrwyth, peth ar ei ganfed, Gal.5 21
arall ar ei drugeinfed, arall ar ei ddecfed ar hugain. Heb. 6 1
24 t Dammeg arall a osodes efe iddynt, gan ddywed- tPhil.1 6
yd, Teyrnas nefoedd sydd gyffelyb i ddyn a hauodd 1Cor.4 7
had da yn ei faes.
25 u A thra yr oedd y dynion yn cysgu, y daeth ei uAct. 20
elyn ef, ac a hauodd efrau ym mhlith y gwenith, ac a 29
aeth ymmaith. 1 Pedr 5
8
26 v Ac wedi i'r egin dyfu, a dwyn ffrwyth, yna yr Ioan8 44
ymddangosodd yr efrau hefyd. 2 Tim. 2
18
27 w A gweision gŵr y tŷ a ddaethant, ac a ddywed- v Act. 8
asant wrtho: Oni hauaist ti hâd da yn dy faes? o ba le 13
gan hynny y mae yr efrau ynddo? wRhuf.1
7
28 x Ac yntef a ddywedodd wrthynt, Y gelyn ddyn xLuc9 54
a wnaeth hyn: a'r gweision a ddywedasant wrtho, A
fynni di i ni fyned ai casclu hwynt?
29 y Ac efe a ddywedodd, Na fynnaf, rhag i chwi wrth y Lef. 19
gasclu'r efrau, ddiwreiddio'r gwenith gyd â hwynt. 17
1Thes. 5
30 Gadewch i'r ddau gyd-tyfu hyd y cynhaiaf, ac yn 14
amser y cynhaiaf, mi a ddywedaf wrth y medel-wyr,
Casclwch yn gyntaf yr efrau, a rhwymwch yn yscubau
i'w llosci, a chasclwch y gwenith i'm yscubor.
31 z Dammeg arall a roddes efe iddynt, gan ddyw- z1Cor. 1
edyd, Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ronyn o had 27
mwstard, yr hwn a gymmer dyn, ac a haua yn ei faes.
32 a Yr hwn sydd leiaf o'r holl hadau: ond wedi a Iob 8 7
iddo dyfu, mwyaf un o'r llysiau ydyw, ac efe a aiff Ezec17 1
yn brenn fel y delo adar yr awyr a nythu yn ei gang-
au ef.
33 b Dammeg arall a ddywedodd efe wrthynt, gan b Rhuf.
ddywedyd, Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i surdoes, yr 14
hwn a gymere gwraig, ac ai cuddie mewn tri phecced 1 Cor. 9
o flawd, oni sure y cwbl. 23
Diar. 14
34 c Hyn oll a ddywedodd yr Iesu trwy ddamhegion 1
wrth y dyrfa, ac heb ddamhegion ni ddywedodd efe Sal. 8, 2
ddim wrthynt. cMarc 4
33
35 d Fel y cyflawnid yr hyn a ddywetpwyt gan y d Sal. 78
prophwyd, gan ddywedyd, Agoraf fyng-enau mewn 2
damhegion, a mynegaf ddirgelion er pan seiliwyd y
byd.
36 e Yna yr anfonodd yr Iesu y dyrfa ymmaith, ac eCol. 4 5
yr aeth i'r tŷ, a'i ddiscyblion a ddaethant atto gan Mal. 2 8
ddywedyd, Eglura i ni ddammeg efrau y maes. Diar.2 3
4
37 f Yna yr attebodd efe, ac a ddywedodd wrthynt, f 1Tim.3
Yr hwn sy yn hau yr hâd da, yw Mâb y dŷn: 25 a 4 2
38 g A'r maes yw'r byd, a'r hâd da, hwynt hwy yw g 1Ioan 5
plant y deyrnas, a'r efrau ydynt blant y drwg. 9
Ioan8 44
39 h A'r gelyn yr hwn a'u hauodd hwynt hwy, yw hIoel3 13
diafol, a'r cynhaiaf yw diwedd y bŷd, a'r medel-wŷr
yw'r angelion.
40 i Megis gan hynny y cynhullir yr efrau, ac eu iDat. 21
llosgir yn tân, felly y bydd yn niwedd y bŷd. 27
41 Mâb y dyn a ddenfyn ei angelion, ac hwy a gyn- j Heb. 1
hullant allan o'i deyrnas ef yr holl dramgwyddiadau, Luc 19 12
a'r rhai a wnant anwiredd. 2 Pedr 1
11

kDat. 22, 15 42 kAc a'u bwriant hwynt i'r ffwrn dân, yno y bydd
wylo a rhingcian dannedd.
43 Yna y llewyrcha y rhai cyfiawn, fel yr haul yn
nheyrnas eu Tâd: yr hwn sydd iddo glustiau i wrando,
gwrandawed.
lCol. 3, 9 44 l Drachefn cyffelyb yw teyrnas nefoedd i drysor
1 Cor. 2, 9 cuddiedic mewn maes, yr hwn wedi i ddŷn ei gaffael,
Col. 3, 3 a guddie efe, ac o lawenydd am dano, efe a gilie, ac
a werthe yr hyn oll a fedde, ac a bryne y maes hwnnw.
45 Drachefn cyffelyb yw teyrnas nefoedd i farsiandŵr,
yr hwn a geisie berlau da.
mLuc 9, 46 m Ac wedi iddo gaffael un perl gwerthfawr, a âe,
ac a werthe gymmaint oll ac a fedde, ac a'i pryne ef.
nMarc 4, 47 n Trachefn cyffelyb yw teyrnas nefoedd i rwyd a
19 Hab. 1, 14 fwrid yn y môr, yr hon a gascle o bob rhyw beth.
48 o Yr hon wedi ei llenwi, a ddygent i'r lann, ac a
Mat. 3, 12 Eph. 2, 3 eisteddent, ac a gasclent y rhai da mewn llestri, ac a
o Eph. 4, 18 fwrient heibio y rhai drwg.
49 Felly y bydd yn niwedd y bŷd, yr angelion a
ânt allan, ac a ddidolant y rhai drwg o blith y rhai
cyfiawn.
50 Ac a'u bwriant hwy i'r ffwrn dân, yno y bydd
wylofain a rhingcian dannedd.
pDiar. 2, 51 p A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A ddarfu i
25 2 Tim. 3, 7 chwi ddeall hyn oll? hwythau a ddywedasant wrtho,
Do Arglwydd.
q1 Tim. 3, 52 q Yna y dywedodd efe wrthynt, Am hynny pob
8 'scrifennydd wedi ei ddyscu i deyrnas nefoedd, a gyffelybir
i berchen tŷ, yr hwn a ddwg allan o'i dryssor
[bethau] newydd a hên.
r Act. 10, 53 r Ac wedi i'r Iesu ddywedyd y damhegion hyn,
35 efe a ymadawodd oddi yno.
sLuc 4, 16 54 s Ac efe a ddaeth iw wlâd ei hun, ac a'u dyscodd
Sal. 78, 41 hwynt yn eu Synagogau, oni synnodd arnynt, gan
ddywedyd, O ba le y daeth y doethineb hyn a'r gwrthiau
i'r dŷn hwn?
tIoan 6, 4 55 t Ond hwn yw mab y saer? onid ei fam ef a elwir
Mair? ai frodyr Iaco, ac Ioses, a Simon, ac Iudas?
56 u Ac onid yw ei chwiorydd oll gyd â ni? o ba le
gan hynny y mae ganddo y pethau hyn oll?
x Luc 4, 57 Ac hwy a rwystrwyd o'i blegit ef, yna y dywedodd
24 yr Iesu wrthynt, Nid yw prophwyd heb anrhydedd
onid yn ei wlad ei hun, ac yn ei dŷ ei hun.
yMarc 6, 58 y Ac ni wnaeth efe fawr wrthiau yno, o blegit eu
6 hanghrediniaeth hwynt.
Heb. 4, 2

## PEN. XIV.

1 *Tyb Herod am Grist.* 3 *Carchar Ioan a'i ddihenydd.* 23
*Iesu yn porthi pum mil o bobl,* 23 *Ac yn rhodio ar y môr.*

wLuc 1, 3 Y wPRYD hynny y clybu Herod y Tetrarch sôn am
Rhuf. 1, 8 Iesu,
2 Ac efe a ddywedodd wrth ei weision, Hwn yw
Ioan fedyddiwr, efe a gyfodes o feirw, ac am hynny
y mae gwrthiau yn gweithio ynddo ef.
xLuc 3, 1 3 x Canys Herod a ddaliase Ioan, ac a'i rhwymase,
ac a'i dodase yng-harchar o blegit Herodias gwraig
Philip ei frawd ef.
y2 Sam. 12, 4 y Canys Ioan a ddywedodd wrtho, Nid cyfreithlawn
7 i ti ei chael hi.
zMarc 6, 5 z A phan oedd yn ei fryd ef ei roddi ef i farwolaeth,
10 efe a ofnodd y bobl, canys hwy a'i cymmerent ef fel
prophwyd.
aGen. 40, 6 a Eithr pan gadwyd dydd genedigaeth Herod,
20 Marc 6, dawnsiodd merch Herodias ger eu bron hwy, ac hi a
21 ryngodd fodd Herod:
bHos. 4, 7 b Fel yr addawodd efe trwy lŵ y rhodde efe iddi
11 bêth bynnac a geisie hi.

8 Ac y hi wedi ei dyscu gan ei mam, a ddywedodd,
Dyro i mi ymma ben Ioan fedyddiwr mewn dysgl.
9 c A'r brenin a fu drist ganddo, eithr o herwydd y cLuc 13,
llŵ, a'r rhai a eisteddent gyd âg ef wrth y ford, efe a 32
orchymynnodd ei roi ef [iddi hi.] Rhuf. 2, 21
10 Ac efe a anfonodd gennad, ac a dorrodd ben
Ioan yn y carchar.
11 A ducpwyd ei ben ef mewn dysgl, ac a'i rhoddwyd
i'r llangces, ac hi a'i dug i'w mam.
12 d A'i ddiscyblion ef a ddaethant, ac a gymmerasant dAct. 8, 2
ei gorph ef, ac a'i claddasant, ac a aethant, ac 1 Sam. 28, 21
a ddywedasant i'r Iesu. Ioan 1, 37
13 e A phan glybu 'r Iesu, efe a giliodd oddi yno 40 eMarc 6,
mewn llong i anghyfannedd-le o'r neilltu, ac wedi 30
clywed o'r dyrfa, hwy a'i dilynasant ef ar draed allan Iago 1, 19
o'r dinasoedd.
14 f A'r Iesu a aeth ymmaith, ac a welodd fintai fawr, f Heb. 4,
ac a dosturiodd wrthynt, ac efe a iachaodd eu cleifion 15
hwynt.
15 g Ac wedi ei myned hi yn hwyr y daeth ei ddis- gMarc 6,
cyblion atto, gan ddywedyd, Y lle sydd anghyfan- 35 Rhuf. 10,
nedd, a'r awr a aeth weithian heibio: gollwng y dyrfa 2
ymmaith i fyned i'r dinasoedd i brynu iddynt fwyd.
16 h A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid h1 Pedr 5,
iddynt fyned ymmaith: rhoddwch chwi iddynt beth 7
i'w fwytta.
17 i Yna y dywedasant wrtho, nid oes gennym ym- iIoan 6, 9
ma onid pum torth, a dau byscodyn.
18 j Ac efe a ddywedodd, Dygwch hwynt ymma i mi. jSal. 145,
19 k Ac efe a orchymmynnodd i'r dorf eistedd ar y 1
gwellt glâs, ac a gymmerth y pum torth, a'r ddau k1 Tim. 4,
byscodyn, ac a edrychodd i fynu tu a'r nef, ac a fen- 4, 5
dithiodd, ac a dorrodd, ac a roddes y torthau i'w
ddiscyblion, a'r discyblion i'r dyrfa.
20 l A hwy oll a fwytasant, ac a gawsant eu digon, lDiar. 13,
ac a godasant o'r briwfwyd yr hwn oedd yng-weddill 25 a 6, 6
ddeuddec bascedaid.
21 m A'r rhai a fwyttasent oeddynt yng-hylch pum mMal. 3,
mil o wŷr heb law gwragedd a phlant. 14
22 n Ac yn y fan y gyrrodd yr Iesu ei ddiscyblion i nIoan 6,
fyned i'r llong, ac i fyned i'r lân arall o'i flaen ef, tra 14
y gollynge efe y dyrfa ymmaith.
23 Ac wedi iddo ddanfon y dyrfa ymmaith, efe a escynnodd
i'r mynydd wrtho ei hun i weddio: ac wedi
ei hwyrhau hi, yr oedd efe yno yn unic.
24 o A'r llong oedd bellach yng-hanol y môr, ac a oSal. 107,
drallodit gan donnau, canys gwynt gwrthwyneb yd- 25 Act. 27,
oedd. 14
25 p Ac yn y bedwaredd wylfa o'r nos yr aeth yr pIoan 6,
Iesu attynt, gan rodio ar y môr. 19
26 A phan welodd y discyblion ef yn rhodio ar y
môr, y dychrynasant hwy, gan ddywedyd, Drychiolaeth
ydyw, ac hwy a waeddasant rhag ofn.
27 q Ac yn y man y llefarodd yr Iesu wrthynt, gan qSal. 40,
ddywedyd, Cymmerwch gyssur, myfi ydwyf, nac ofn- 1 Ex. 3, 14
wch. Can. 5, 16
28 r Yna yr attebodd Pedr ef, ac a ddywedodd, O Esa 48, 2 Rhuf. 8,
Arglwydd, os tydi yw, arch i mi ddyfod attat ar y 31
dwfr. rIoan 17, 7
29 s Ac efe a ddywedodd, Tyret: ac wedi descyn o Luc 5, 5
Pedr o'r llong, efe a rodiodd ar y dwfr, i ddyfod at sRhuf. 12, 3
yr Iesu.
30 t Ond pan welodd efe wynt cadarn, efe a ofnodd: tRhuf. 4,
a phan ddechreuodd suddo, efe a lefodd, gan ddy- 20
wedyd, Arglwydd cadw fi.
31 Ac yn y man yr estynnodd yr Iesu ei law, ac a

ymaflodd ynddo ef, ac a ddywedodd wrtho, Tydi o
ychydig ffydd, pa ham y pettrusaist?
32 Ac er cynted yr aethant i'r llong y peidiodd ygwynt.
33 [u] Yna y daeth y rhai oeddynt yn y llong ac a'i
nRhuf.1, 4 haddolasant ef, gan ddywedyd, Yn wir Mab Duw
ydwyt ti.
34 [v] Ac wedi iddynt fyned trosodd, hwy a ddaeth-
vMarc 3 15 ant i dir Genezareth.
35 [w] A phan adnabu gwŷr y fan honno ef, hwy a
wIoan 4, 28 ddanfonasant i'r wlad honno o amgylch ogylch, ac a
ddugasant atto y rhai oll oeddynt mewn anhwyl,
36 Ac a attolygasant iddo gael cyffwrdd yn unic âg
ymyl ei wisc ef: a chyniferag a gyffyrddodd â hi, a
iachauwyd.

## PEN. XV.

*Crist yn escusodi ei ddyscyblion am fwyta y tywys ŷd ar y Sabboth gan ddangos rhagrith y Phariseaid. 15 A chan egluro iw ddiscyblion nad yr hyn sydd yn myned i'r corph sydd yn halogi y corph. 32 Ac yn porthi llawer â saith torth o fara.*

xMarc 7, 1 YNA [x] yr 'scrifennyddion, a'r Pharisæaid y rhai
oeddynt o Ierusalem a ddaethant at yr Iesu gan
ddywedyd,
yIoan 18, 2 [y] Pa ham y mae dy ddiscyblion di yn torri traddod-
1 Pedr 1, 18 iadau yr henafiaid? canys nid ydynt yn golchi eu
dwylo pan fwyttânt fara.
zDiar.26 4 3 [z] Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, A
pha ham yr ydych chwi yn torri gorchymyn Duw
trwy eich traddodiad chwi?
4 Canys Duw a orchymynnodd, gan ddywedyd, An-
rhydedda dy dâd a'th fam: a'r hwn a felldithio dâd
neu fam, lladder ef yn farw.
aTit.1,11 5 [a] Eithr yr ydych chwi yn dywedyd, Pwy bynnac
a ddywed wrth dâd neu fam, drwy y rhodd [a offrym-
mir] gennifi y daw llesâd i ti.
6 Er nas anrhydedda efe ei dâd neu ei fam, [di-fai
fydd:] ac fel hyn y gwnaethoch orchymyn Duw yn
ofer trwy eich traddodiad eich hun.
bEsa.29, 13 a 6, 18 7 [b] O ragrithwŷr, da y prophwydodd Esaias am da-
noch chwi, gan ddywedyd,
8 Nesau y mae y bobl hyn attaf â'u genau, a'm han-
rhydeddu a'u gwefusau, a'u calon sydd bell oddiwrthif.
9 Eithr ofer i'm hanrhydeddant i gan ddyscu gorch-
ymynnion dynion yn ddysceidiaeth.
10 Yna y galwodd efe y dyrfa atto gan ddywedyd
wrthynt, Clywch a dehellwch.
cRhuf14 17 11 [c] Nid yr hyn sydd yn myned i'r genau, sydd yn
Pen. 12, 36 halogi dŷn, ond yr hyn sydd yn dyfod allan o'r genau,
hynny sydd yn halogi dŷn.
d2Tim.4 3, 4 12 [d] Yna y daeth ei ddiscyblion, ac a ddywedasant
wrtho, Oni wyddosti rwystro y Pharisæaid wrth gly-
wed yr ymadrodd hyn?
eIoan 15, 2 13 [e] Ac yntef a attebodd, ac a ddywedodd, Pob plan-
Eph. 1, 4 higin a'r ni's plannodd fy Nhâd nefol a ddiwreiddir.
f Hes. 4, 17 14 [f] Gadewch iddynt, tywysogion deillion i'r deill-
ion ydynt, ac os y dall a dywys y dall, y ddau a syrth-
iant yn y ffôs.
gMarc 7 17 15 [g] Yna yr attebodd Petr ac a ddywedodd wrtho,
Eglura i ni y ddammeg hon.
hHeb. 5, 12 16 [h] Yna y dywedodd yr Iesu, A ydych chwi etto
heb ddeall?
17 Onid ydych chwi yn deall etto fod yr hyn oll
sydd yn myned i'r genau, yn cilio i'r bola, ac y bwrir
ef allan i'r gaudŷ?
iRhuf.3, 13 18 [i] Eithr y pethau a ddeuant allan o'r genau sy yn
dyfod o'r galon, a hwynt hwy a halogant ddŷn.

19 [j] Canys o'r galon y mae y meddyliau drwg yn jDiar. 23 26
dyfod, llofruddiaeth, tor-priodas, godinebu, lledrat,
cam destiolaeth, cabledd.
20 [k] Dymma y pethau sy yn halogi dŷn, eithr bwyt- kMarc 7 24
ta â dwylo heb olchi ni haloga ddŷn.
21 [l] A'r Iesu a aeth oddi yno, ac a gilliodd i dueddau lMarc 7, 24
Tyrus a Sidon.
22 [m] Ac wele, gwraig o Cannan a ddaeth o'r parthau m Galar. 3, 5
hynny, ac a lefodd, gan ddywedyd wrtho, Trugarhâ
wrthif, O Arglwydd fâb Dafydd: y mae fy merch yn
ddrwg ei hwyl gan gythrael.
23 Eithr nid attebodd efe iddi un gair, yna y daeth
ei ddisgyblion atto, ac yr attolygasant iddo, gan ddy-
wedyd, Gollwng hi ymmaith, canys y mae hi yn llefain
ar ein hôl.
24 [n] Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, ni'm dan- nAct. 13, 46
fonwyd onid at ddefaid colledic tŷ Israel.
25 [o] Er hynny hi a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan oLuc 18, 1
ddywedyd, O Arglwydd cymmorth fi.
26 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, nid da cym-
meryd bara y plant ai fwrw i'r cenawon cwn.
27 [p] Hithe a ddywedodd, Gwir yw O Arglwydd, er pRhuf 3 4
hynny y mae'r cenawon cŵn yn bwytta'r briwsion a
syrth oddi ar fwrdd eu harglwyddi.
28 [q] Yna yr attebodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrthi, q1Cor.10 13
Ha wraig mawr yw dy ffydd, bydded i ti fel yr wyt
yn ewyllysio: a'i merch a iachawyd yn yr awr honno.
29 [r] Ar Iesu gan fyned oddi yno, a ddaeth ger llaw rMarc 7, 31
môr Galilæa, ac efe a escynodd i'r mynydd, ac a eis-
teddodd yno.
30 [s] A daeth atto dorfeudd mawrion, a chanddynt sEsa. 35, 5, 6
gloffion, deillion, mudion, efryddion, ac eraill lawer:
ac hwy a'u bwriasant i lawr wrth draed yr Iesu, ac efe
a'u hiachaodd hwynt.
31 [t] Fel y rhyfeddodd y dyrfa, wrth weled y mudion tSal. 72, 18
yn dywedyd, a'r rhai anafus yn iach, a'r oloffion yn
rhodio, a'r deillion yn gweled: ac hwy a ogoneddas-
ant Dduw yr Israel.
32 [u] Yna y galwodd yr Iesu ei ddiscyblion atto, ac uSal 145, 15
a ddywedodd, Yr ydwyf yn tosturio wrth y dyrfa, am
iddynt aros gyd a mi er ys tri-diau bellach, ac nad oes
ganddynt ddim iw fwytta a'u gollwng hwy ar eu
cythlwm ni's gwnaf, rhag eu llewygu ar y ffordd.
33 A'i ddiscyblion a ddywedasant wrtho, O ba le y
caem ni gymmaint o fara yn y dyffaethwch, ag y di-
wellid tyrfa gymmaint?
34 [v] A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Pa sawl torth vDeut. 8 8
sydd genych? a hwy a ddywedasant, Saith, ac ychydig
byscod bychain.
35 [w] Yna y gorchymynnodd efe i'r dyrfa eistedd i w Luc 9, 14
lawr ar y ddaiar.
36 [x] A chan gymmeryd y saith dorth, a'r pyscod, a xLuc 24, 31
diolch, efe a'u torodd, ac a'u rhoes iw ddiscyblion, a'r
discyblion i'r dyrfa.
37 [y] Ac hwy oll a fwyttasant, ac a gawsant ddigon: yRhuf. 2, 10
ac a godasant o'r briwfwyd yr hwn oedd yng-weddill
saith fascedaid.
38 [z] A'r rhai a fuasent yn bwytta oeddynt bedair-mil z Sal 37, 25
o wŷr, heb law gwragedd a phlant.
39 [a] Yna wedi iddo ollwng y dyrfa i ffordd, efe a aMarc 8 10
aeth i long, ac a ddaeth i dueddau Magdala.

## PEN. XVI.

*Atteb Crist i'r rhai a geisiasant ganddo ef arwydd. 6 Cyngor i wrthod sur a llefeinllyd athrawiaeth y Phariseaid. 13 Tyb y bobl am Grist. 17 Ffydd yn dyfod oddi wrth Dduw. 18 Craig yr Eglwys, ac agoriadau nef. 21 Crist*

*yn prophwydo am ei farwolaeth. 24 Cyflwr y gwir ddis-*
*cybl. 27 A dyfodiad Crist.*

b Marc 8, YNA [b] y Pharisæaid a'r Saducæaid, gan ddyfod a
11 themtio a geisiasant ganddo ddangos iddynt
Luc 12,54 arwydd o'r nef.
c Phil. 3, 2 [c] Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Pan
19 fyddo hi yn hwyr y dywedwch, Hi a fydd tywydd têg,
canys y mae'r wybr yn gôch.
d Luc 12, 3 [d] A'r boreu [y dywedwch] Heddyw [y bydd] dryg-
56 hin, am fod yr wybr yn gôch, ac yn drist: O ragrith-
Ier. 5, 6 wyr, medrwch ddeall wyneb yr wybr, ac oni [fedrwch]
farnu am arwyddion yr amserau?
e Heb. 10, 4 [e] Y mae y genhedlaeth ddrwg a godinebus yn
1 ceisio arwydd, ac arwydd ni's rhoddir iddi, onid ar-
1 Pedr 1, wydd y prophwyd Ionas: ac felly efe a'u gadawodd
11 hwynt, ac a aeth ymmaith.
f Marc 8, 5 [f] Ac wedi dyfod ei ddiscyblion ef i'r lann arall,
5, 7 hwy a ollyngasant dros gôf gymmeryd bara [gyd âg
hwynt.]
g 1 Cor. 5 6 [g] A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Edrychwch, a
7 mogelwch rhag sur-does y Pharisæaid a'r Saducæaid.
Luc 17, 1 7 [h] Ac hwy a resymmasant yn eu plith eu hunain,
h Luc 24, gan ddywedyd, Hyn sydd am na ddugasom fara.
26
i Ioan 2, 8 [i] A'r Iesu yn gwybod [y peth,] a ddywedodd wrth-
25 ynt, Chwy-chwi o ffydd fechan, pa ham yr ydych yn
Pen. 6, 30 meddwl ynoch eich hunain, na ddygasoch fara?
ch. 33
j Marc 8, 9 [j] Onid ydych chwi yn deall etto, nac yn cofio y
17 pump torth, pan oedd pum mil [o bobl] a pha sawl
Esa. 6, 10 basgedaid a gymmerasoch chwi?
k 2 Cor. 2, 10 [k] Na'r saith torth pan oedd saith mil [o bobl,] a
10 pha sawl cawellaid a gymmerasoch chwi?
1 Sam 17,
37 11 [l] Pa ham nad ydych yn deall, mai nad am fara y
l Heb. 5, dywedais wrthych, ar ymogelyd o honoch rhag sur-
12 does y Pharisæaid a'r Saducæaid?
Rhuf. 14
1
Gal. 6, 1 12 Yna y dehallasant hwy, na ddywedase efe am
ymogelyd o honynt rhag sur-does bara, ond rhag
athrawiaeth y Pharisæaid a'r Saducæaid.
m Marc 8 13 [m] Ac wedi dyfod yr Iesu i dueddau Cæsaria Phi-
27 lip, efe a ofynnodd iw ddiscyblion, Pwy y mae dynion
Luc 9, 18 yn dywedyd fy mod i Mâb y dŷn.
Heb. 2, 14
n Mal. 4, 14 [n] Ac hwy a ddywedasant, Rhai sy yn dywedyd
5, 6 mai Ioan fedyddiwr, a rhai mai Elias, ac eraill mai
Ieremias, neu un o'r prophwydi.
o Luc 12, 15 [o] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pwy meddwch
48 chwi ydwyfi?
p Phil. 2, 16 [p] Yna Simon Petr a attebodd, ac a ddywedodd,
8 Ti ydwyt Crist, Mâb y Duw byw.
q 1 Cor. 3 17 [q] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Gwyn dy fŷd ti
7 Simon mâb Ionas, canys nid cig a gwaed a ddatcudd-
iodd [hyn] i ti, eithr fy Nhâd yr hwn sydd yn y
nefoedd.
r 1 Cor. 3 18 [r] Yr ydwyfi hefyd yn dywedyd i ti, Mai ti ydwyt
11 Petr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy Eglwys, a
phyrth uffern ni's gorchfygant hi.
19 Ac mi a roddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd, a
pha beth bynnag a rwymech ar y ddaiar, a fydd rwym-
edic yn y nefoedd: a pha beth bynnag a ryddhaech
ar y ddaiar, fydd wedi ei ryddhau yn y nefoedd.
20 Yna y gorchymynnodd efe iw ddiscyblion na
ddywedant i neb, mai efe oedd Iesu Grist.
s Ioan 16, 21 [s] O hynny allan y dechreuodd yr Iesu fynegu iw
1 ddiscyblion fod yn angenrhaid iddo fyned i Ierusalem,
a dioddef llawer gan yr henuriaid, a chan yr arch-
offeiriaid, a'r gwŷr llên, a'i ladd, a chyfodi y trydydd
t Rhuf. 11 dydd.
20 22 [t] Yna Petr a'i cymmerth ef o'r naillu, ac a ddech-
RHIF. XVIII.
reuodd ei geryddu ef, gan ddywedyd, Arglwydd, tru-
garhâ wrthit dy hun, ni's bydd hyn i ti.
23 [u] Yna y trodd efe, ac a ddywedodd wrth Petr, Dos u Diar. 27
ar fy ol Satan, canys rhwystr ydwyt ti i mi, am nad yd- 6
wyt yn deall y pethau sy o Dduw, ond y pethau sy o Rhuf. 8, 5
ddynion. Iago 3, 15
24 [v] Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei ddiscyblion, Os v 1 Cor. 3,
myn neb ddyfod ar fy ol i, gwaded ef ei hun, a chym- 18
mered ei groes, a dilyned fi.
25 [w] Canys pwy bynnac a ewyllysio gadw ei fywyd, w Ioan 12,
a'i cyll, a phwy bynnac a gollo ei fywyd o'm plegit i, a'i 42
caiff. Gal. 6, 14
26 [x] Canys pa lesâd i ddyn er ennill yr holl fyd, o chyll Dat. 12,
efe ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfne- 11
wid am ei enaid? Heb. 11,
36
x Luc 12,
19, 20
27 [y] Canys Mab y dyn a ddaw yng-ogoniant ei Dad, y Act. 1,
gyd â'i angelion, ac yna y rhydd efe i bob dyn yn ol ei 11
weithredoedd.
28 [z] Yn wir y dywedaf wrthych, Fod rhai o'r sawl z 2 Pedr 1
sydd yn sefyll ymma a'r ni phrofant angeu, hyd oni 16
welant Fab y dyn yn dyfod yn ei frenhiniaeth. Rhuf. 15,
19

## PEN. XVII.

*2 Ymrithiad Crist ar fynydd Thabor. 11 Am Elias, ac*
*Ioan fedyddiwr. 20 Grym ffydd, ympryd, a gweddi.*
*22 Crist yn rhagfynegu am ei ddioddefaint. 24 Ac yn*
*talu teyrn-ged.*

AC [a] chwe diwrnod wedi [hynny] y cymmerodd yr a Luc 9,
Iesu Petr, ac Iaco, ac Ioan ei frawd, ac ai dug 28
hwynt i fynydd uchel o'r naillu. Marc 9,
2
2 [b] Ac efe a ymrithiodd ger eu bron hwy, a'i wyneb a b Ex. 34,
ddiscleiriodd fel yr haul, a'i ddillad oedd cyn wynned 29, 30
â'r goleuni. 2 Cor. 3, 7
3 [c] Ac wele Moses, ac Elias yn ymddangos iddynt, ac c Luc 1,
yn ymddiddan âg ef. 31
4 [d] Yna yr attebodd Petr, ac a ddywedodd wrth yr d Iago 3, 1
Iesu, O Arglwydd, da ydyw i ni fod ymma: os 1 Cor. 13,
ewyllysi, gwnawn yma 'dair pabell, un i ti, ac un i 12
Moses, ac un i Elias, Luc 9 33
5 Ac efe etto yn llefaru, wele gwmwl goleu yn eu
cysgodi hwynt, ac wele lef o'r cwmwl yn dywedyd,
Hwn yw fyng-haredig Fab yn yr hwn i'm bodlonwid,
gwrandewch arno ef.
6 A phan glybu y discyblion hynny, syrthiasant ar
eu hwynebau, ac hwy a ofnasant yn ddirfawr.
7 [e] Yna y daeth yr Iesu, ac y cyffyrddodd â hwynt, e Eph. 5,
ac a ddywedodd, Cyfodwch, ac nac ofnwch. 30
8 [f] Ac wedi iddynt dderchafu eu golwg, ni welsant f 1 Tim. 3,
neb onid yr Iesu yn unic. 5
9 [g] Fel yr oeddynt yn descyn o'r mynydd y gorch- g Ioan 1,
ymynnodd yr Iesu iddynt gan ddywedyd, Na ddy- 14
wedwch y weledigaeth i neb, hyd oni chyfodo Mâb 2 Pedr 1,
y dŷn o feirw. 19
10 [h] A'i ddiscyblion a ofynasant iddo, gan ddywedyd, h Mal 4, 5
Pa ham gan hynny y mae'r scrifenyddion yn dywedyd 2 Thes. 2
fod yn rhaid i Elias ddyfod yn gyntaf. 1, 2
11 [i] A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, i Rhuf. 10
Elias yn ddiau a ddaw yn gyntaf, ac a edfryd bob 12
peth. Ioan 12,
32
12 [j] Eithr yr ydwyfi yn dywedyd i chwi, ddyfod o j Luc 1 65
Elias yd barod, ac nad adnabuont hwy ef, a gwneuth- 1 Pedr 3,
ur o honynt iddo ef beth bynnac a fynnasant: felly y 5
bydd i Fab y dyn ddioddef ganddynt hwy.
13 [k] Yna y deallodd y discyblion, mai am Ioan k Act. 9,
fedyddiwr y dywedase efe wrthynt. 18
14 [l] Ac wedi ei ddyfod at y dyrfa, y daeth rhyw Luc 24,
ddyn, ac a ofynnodd iddo ar ei liniau, 45
l Luc 9, 37

mSal.6,2 15 m Ac a ddywedodd O Arglwydd trugarha wrth fy
mab: o blegit y mae efe yn lloeric, ac yn ddioddef
llawer, canys y mae efe yn syrthio yn y tan yn fynych
ac yn y dwfr lawer gwaith.
nMarc 9 16 n Ac mi a'i dugym ef at dy ddiscyblion di, ac ni
23 allasant hwy ei iachau ef.
oPen. 21 17 o Yna yr attebodd yr Iesu, ac a ddywedodd, Oh
23 genhedlaeth anffyddlon a gwrthnysig, pa hyd y bydd-
Rhuf.11, af gyd â chwi? pa hyd y dioddefaf chwi? dygwch ef
20 ymma attafi.
pGen. 3, 18 p A'r Iesu a geryddodd y cythrael, ac efe a aeth
15 allan o honaw: a'r bachgen a iachawyd o'r awr
2 Ioan 3, honno.
8
qIos.7,5, 19 q Yna y daeth y discyblion at yr Iesu o'r neilltu,
6 ac y dywedasant, Pa ham na allem ni ei fwrw ef allan?
Barn. 16, 20 r A'r Iesu a ddywedodd, o blegit eich angrhedyn-
30 laeth: canys yn wir y dywedaf i chwi, pe bydde gen-
rAct. 14, nych ffydd gymmaint a gronyn o had mwstard, chwi
9 a ddywedech wrth y mynydd hwn, Symmut oddi ym-
1Cor. 12, ma draw, ac efe a symmude, ac ni bydde dim amhos-
9 sibl i chwi.
sLuc 11, 21 s Eithr nid aiff y rhywogaeth hyn allan, onid trwy
26 weddi ac ympryd.
tMarc 9, 22 t Ac fel yr oeddynt hwy yn aros yn Galilæa, y
30 dywedodd yr Iesu wrthynt, Mab y dyn a roddir yn
nwylo dynion.
uEsa 53, 23 u Ac hwy a'i lladdant, a'r trydydd dydd y cyfyd
8 efe: ac hwy a aethant yn drist iawn.
24 Ac wedi dyfod o honynt i Capernaum, y rhai
oeddynt yn derbyn arian y deyrn-ged a ddaethant at
Petr, ac a ddywedasant, onid yw eich Athro chwi yn
talu teyrn-ged?
vLuc 13, 25 v Yntef a ddywedodd, Ydyw: ac wedi ei ddyfod
2 ef i'r tŷ, yr Iesu a achubodd ei flaen ef, gan ddywed-
Marc 14, yd, Beth yr wyt ti yn ei dybied Simon? gan bwy y
15 cymmer brenhinoedd y ddaiar deyrn-ged ne dreth?
gan eu plant, ai gan estroniaid?
wEsa. 9, 26 w Pedr a ddywedodd wrtho, Gan estroniaid, yna y
7 dywedodd yr Iesu wrtho, Gan hynny y mae y plant
Luc 1,32 yn rhyddion,
xRhuf.11 27 x Er hynny, rhag i ni eu rhwystro hwynt, dos i'r
19 môr, a bwrw fach, a chymmer y pyscodyn cyntaf a
1Cor.10, ddêl i fynu, ac wedi agoryd ei safn, ti a gai ddarn o
23 ugain ceniog: cymmer hynny a dyro iddynt drosofi
1Thes 5, a thithe.
22
1 Ioan 2,
10

## PEN. XVIII.

1 *Pwy sydd fwyaf yn nheyrnas nef,* 6 *Am rwystrau.* 12 *Y ddafad golledic.* 15 *Beth sydd iw wneuthur pan gaffer cam.* 23 *Dammeg y brenin yn mynnu cyfrif gan ei weision.*

yMarc 9, AR y amser hynny y daeth y discyblion at yr Iesu
33 gan ddywedyd, Pwy sydd fwyaf yn nheyrnas
Luc 22, nefoedd?
25
zDiar.11 2 z A'r Iesu a alwodd atto fachgenyn, ac a'i gosodes
2 yn eu canol hwynt,
a1Cor 14 3 a Ac a ddywedodd, Yn wir y dywedaf i chwi, O
20 ddieithr troi o honoch, a bod fel plant bychain, nid
ewch i deyrnas nefoedd.
4 Pwy bynnac gan hynny a ymostyngo fel y bach-
genyn hwn, hwnnw yw 'r mwyaf yn nheyrnas nefoedd.
5 A phwy bynnac a dderbyn gyfryw blentyn yn fy
b 1 Cor. enw i, a'm derbyn fi.
4, 9 6 b A phwy bynnac a rwystro un o'r rhai bychain
Ioan 21, hyn a gredant ynofi, gwell oedd iddo pe crogid maen
15,16 melin am ei wddf, a'i foddi yngwaelod y môr.
2 Cor. 5, 7 c Gwae'r byd o blegit rhwystrau: canys angenrhaid
11 yw dyfod rhwystrau: er hynny gwae'r dyn hwnw o
Dat.2,14
cLuc17,1

achos yr hwn y dêl y rhwystr.
8 d Am hynny os dy law, neu dy droed a'th rwystra, dCol. 3,5
torr hwynt ymmaith a thafl oddi wrthit: gwell yw i
ti fyned i fywyd yn gloff neu yn anafus, na'th daflu,
ac i ti ddwy law, a dau droed i dân tragywyddol.
9 Ac os dy lygad a'th rwystra, tynn ef allan, a thafl
oddi wrthit: gwell yw i ti fyned i fywyd ag un llygad,
nag â dau lygad dy daflu i dân uffern.
10 e Edrychwch na ddirmygoch yr un o'r rhai bych- eSal.34,7
ain hyn: canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, Fod eu a 91,11
hangelion hwynt yn y nefoedd bob amser yn gweled
wyneb fy Nhad, yr hwn sydd yn y nefoedd.
11 f Canys daeth Mab y dyn i gadw yr hyn a gollasid. f1Tim.1,
12 g Beth dybygwch chwi, Os bydde i ddyn gant o 15
ddefaid, a myned o un o honynt ar ddisperod, oni gLuc 15,
adawe efe yr am yn un cant, a myned i'r mynyddoedd, 4
a cheisio'r hon a aeth ar ddisperod?
13 h Ac os bydde iddo ei chael hi, yn wir meddaf i hIoan 1,7
chwi, mai llawenach ganddo am y ddafod honno, nag 8
am yr am yn un cant y rhai nid aethant ar ddisperod. Phil. 1 6
14 i Felly nid yw ewyllys eich Tad yr hwn sydd yn iRhuf. 9
y nefoedd, gyfergolli 'r un o'r rhai bychain hyn. 19
15 j Heb law hynny, os pecha dy frawd i'th erbyn, Eph. 1,5
dos a dangos iddo ei fai rhyngot ag ef yn unic, os efe Ioan 10,
a'th wrendu, ti a ennillaist dy frawd. 28
16 Ac os efe ni'th wrendu, cymmer gyd â thi etto un j Tim.5,
neu ddau, fel o enau dau neu dri o dystion y safo 20
pob gair. 1 Cor. 5,
17 k Ac os diystyra efe hwynt, dywet i'r eglwys, ac 12
os efe ni fynn wrando'r eglwys chwaith, bydded efe k1Cor.11
i ti megis yr ethnic a'r Publican. 28
18 l Yn wir meddaf i chwi, Pa beth bynnac a rwym- 1Cor.5,9
och ar y ddaiar, a rwymir yn y nef, a pha beth byn- l1Cor.5,4
nac a ryddhaoch ar y ddaiar, a ryddheuir yn y nef. 5
19 m Trachefn yn wir y dywedaf wrthych, Os cyd- mIago 1,
una dau o honoch ar y ddaiar am ddim oll, beth byn- 6.
nac a ddeisyfant a roddir iddynt gan fy Nhâd yr hwn
sydd yn y nefoedd.
20 n Canys ym mha le bynnac yr ymgynhullo dau nAct.16,
neu dri yn fy enw i, yno'r ydwyf yn eu mysc hwynt. 14
21 Yna y daeth Petr atto ef, ac a ddywedodd, Ar- Col. 3,5
glwydd, pa sawl gwaith y pecha fy mrawd i'm her- Dat.1,13
byn, ac y maddeuaf iddo, ai hyd saith-waith?
22 o Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Nid ydwyf yn oLuc 17,
dywedyd wrthit, hyd saith waith, onid hyd ddeng- 4
waith a thrugain saith waith.
23 p Am hynny y mae yn gyffelyb teyrnas nefoedd pLuc 12,
i ddyn [a oedd] yn frenin a fynne gael cyfrif gan ei 15
weision.
24 A phan ddechreuodd gyfrif, fe a ddugpwyd atto
un a oedd yn ei ddyled ef o ddeng-mil o dalentau. qEcs.12,
25 q A chan nad oedd ganddo ddim i dalu, fe a orch- 3
ymynnodd ei arglwydd ei werthu ef a'i wraig, a'i blant, 2Bren.4,
a chwbl a'r a fedde, a thalu ['r ddyled.] 1
26 r A'r gwâs gan syrthio i lawr a attolygodd iddo Lef. 25,
gan ddywedyd, Arglwydd bydd dda dy ymaros wrthif, 39
a mi a dalaf i ti y cwbl oll. rSal. 78,
27 s Yna arglwydd y gwâs hwnnw a drugarhaodd 38
wrtho, ac a'i gollyngodd, ac a faddeuodd iddo y ddyled. Ecs. 34,6
28 Ac wedi myned o'r gwâs ymmaith, efe a gafodd Rhuf.10,
un o'i gyfeillion, yr hwn oedd yn ei ddyled ef o gant 3
* ceinioc, ac efe a ymaflodd ynddo, ac ai llindagodd, sBarn.10
gan ddywedyd, Tâl i mi yr hyn sydd ddyledus arnat. 16
29 Yna y syrthiodd ei gydwâs wrth ei draed ef, ac
a ymbiliodd ag ef gan ddywedyd, Bydd ymarhous
wrthif, a thalaf i ti y cwbl oll.

* Neu, Denary. Yr oedd ceinioc Rhufain o werth chwech cheiniog a dimmau. Pen. 20, 2

30 Ac ni's gwnai efe, onid myned ai fwrw ef yng-
harchar, hyd oni thale efe'r hyn oedd ddyledus.
31 A phan weles ei gyd-weision y pethau a wnelsid,
yr oedd yn ddrwg dros benn ganddynt, ac hwy a
ddaethant, ac a fynegasant iw harglwydd yr holl
bethau a fuasent,
32 Yna y galwodd ei arglwydd arno ef, ac a ddy-
wedodd wrtho, Ha wâs drwg, maddeuais i ti yr holl
ddyled honno, am i ti ymbil a mi.
t Luc 6,36 33 [t] Ac oni ddylesit tithe dosturio wrth dy gŷd-was,
megis, ac y tosturiais i wrthit ti?
34 A'i Arglwydd yn llidiog a'i rhoddes ef i'r poen-
wŷr, hyd oni thale yr hyn oll oedd ddyledus iddo.
n Eph. 4, 31 35 [n] Ac felly yr un modd y gwna fy nefol Dâd i chwi-
Col. 3,13 thau, oni faddeuwch o'ch calonau bob un iw frawd
eu camweddau.

## PEN. XIX.

*Am yscariaeth, ac am rai diweir. 13 Plant yn cael dyfod at Grist. 16 Yr ymrysymmiad a fu rhwng y gwr ieuangc goludog â Christ. 25 A'r ymrysymmiad a dyfod o hynny rhwng Crist a'i ddyscyblion.*

v Luc 9, 51 AC [v] wedi i'r Iesu orphen yr ymadroddion hynny,
Ioan 21, efe a ymadawodd â Galilæa, ac a ddaeth i du-
55, 56 eddau Iudæa tu hwnt i'r Iorddonen.
w Luc 23. 5 2 [w] A thorfeuydd lawer a'i dilynasant ef, ac efe a'u
hiachaodd hwynt yno.
x Pen. 16, 1 3 [x] Yna y daeth y Pharisæaid atto, gan ei demtio a
22,15,16 dywedyd wrtho, Ai cyfraithlawn i ŵr yscar â'i wraig
Marc 10, 2 am bob achos?
y Mal. 2, 15 4 [y] Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Oni
ddarllenasoch, i'r hwn a'u gwnaeth o'r dechrau, eu
gwneuthur yn wryw a benyw?
z Gen. 2, 5 [z] Ac efe a ddywedodd, O blegit hynny y gâd dŷn
23 1 Cor 6,16 dâd a mam, ac y glŷn wrth ei wraig, a'r ddau fyddant
un cnawd.
6 Ac felly nid ydynt mwy yn ddau, onid yn un
cnawd, am hynny nac yscared dŷn yr hyn a gysyllt-
odd Duw.
a Marc 10 4 7 [a] Hwythau a ddywedasant wrtho, Pa ham gan hyn-
Deut. 24, 1 ny y gorchymynnodd Moses roddi llythyr yscar, a'i
gollwng hi ymmaith?
b Act. 13, 18 8 [b] Yntef a ddywedodd wrthynt, Moses o herwydd
14, 16 caledrwydd eich calonnau a oddefodd i chwi yscar
1 Cor. 11, 23 â'ch gwragedd: eithr o'r dechreu nid felly yr oedd.
Ier. 6, 16 9 Ac meddaf i chwi, Pwy bynnac a wrthodo ei wraig,
onid am odineb, a phriodi un arall, ei fôd yn torri
priodas, a bod pwy bynnac a briodo yr hon a yscar-
wyd, yn torri priodas.
1 Cor. 7 10 [c] [Yna] y dywedodd ei ddiscyblion wrtho, Os
Diar. 21, felly y mae'r matter rhwng gŵr a gwraig, nid da
9, 19 gwreica.
1 Cor.7, 7 11 [d] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Nid yw pawb yn
Iago 1,17 derbyn y gair hwn, onid y rhai y rhoddwyd iddynt.
1 Cor. 7 12 [e] Canys y mae rhai diweir a aned felly o groth [eu]
Rhuf. 6, mam: ac y mae rhai diweir a wnaeth dynion yn rhai
3 diweir, ac y mae rhai diweir y rhai a'u gwnaethant eu
Cor. 7, hun yn ddiweir er mwyn teyrnas nefoedd: y neb a
1, 28,32 ddichon dderbyn [hyn,] derbynied.
1 Cor.13, 2 13 [f] Yna y dygwyd atto blant, fel y rhodde ei ddwylo
arnynt, ac y gweddie: a'r discyblion a'u ceryddodd
hwynt.
Marc 10 14 [g] A'r Iesu a ddywedodd, Gadewch i blant, ac na
waherddwch iddynt ddyfod attafi: canys i'r cyfryw
rai y mae teyrnas nefoedd.
15 Ac wedi iddo roddi ei ddwylo arnynt, efe a aeth
ymmaith oddi yno.
16 [h] Ac wele un a ddaeth, ac a ddywedodd wrtho, h Marc 10 17
Athro da, pa beth da a wnaf, fel y caffwyf fywyd tra- Rhuf.10,
gywyddol? 2
17 [i] Yntef a ddywedodd wrtho, Pa ham y gelwi fi yn Act.2.37 i Rhuf. 10
dda? nid da neb ond un, sef Duw: ond os ewyllysi 5
fyned i mewn i'r bywyd, cadw'r gorchymynnion.
18 Efe a ddywedodd wrtho yntef, Pa rai? a'r Iesu
a ddywedodd, Y rhai hyn, na ladd: na thor briodas:
na latrata: na ddwg gam destiolaeth.
19 [j] Anrhydedda dy dad a'th fam: a châr dy gym- j 1 Ioan 3
ydog fel ty hun. 18
20 Y gwr ieuangc a ddywedodd wrtho, Mi a ged-
wais hyn oll o'm hieuengtid, beth sydd yn eisieu i mi
etto?
21 [k] Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os ewyllysi fod yn k Marc 10
berffaith, dos, gwerth yr hyn sydd genit, a dyro i'r 21 Act. 20,
tlodion, a thi a gei drysor yn y nefoedd: a thyred 35
dilyn fi.
22 [l] A phan glybu y gŵr ieuangc yr ymadrodd hyn, l Luc 18, 24
efe a aeth i ffordd yn drist: canys yr oedd yn berchen 1 Tim.6,9
da lawer. 10
23 Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei ddiscyblion, Yn
wir y dywedaf i chwi, mai yn anhawdd yr aiff y gol-
udog i deyrnas nefoedd.
24 [m] A thrachefn meddaf i chwi, haws yw i gamel m Marc
fyned trwy grau y nodwydd ddur, nag i oludog fyned 10, 24 Sal. 52,7
i mewn i deyrnas nef.
25 [n] A phan glybu ei ddiscyblion ef hyn, synnu a n Marc 10
wnaethant yn aruthr, gan ddywedyd, Pwy gan hynny 26
a all fod yn gadwedic?
26 [o] A'r Iesu a edrychodd arnynt, ac a ddywedodd o Luc 1,
wrthynt, Gydâ dynion amhosibl yw hyn, ond gydâ 37
Duw pob peth sydd yn bossibl.
27 Yna Petr a attebodd, ac a ddywedodd wrtho,
Wele nyni a adawsom bob peth, ac a'th ddilynasom
di: beth gan hynny fydd i ni?
28 [p] A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir meddaf p Act. 3, 21
i chwi pan eisteddo Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant, Dat.21.1
chwychwi y rhai a'm dilynasoch i yn yr adenedigaeth, 1 Cor. 15, 42, 43
ie, chwychwi a eisteddwch ar ddeuddec gorsedd, ac Dat. 3,21
a fernwch ddeuddec-llwyth Israel. Luc 22, 30
29 [q] A phwy bynnag a wrthodo dai, neu frodyr neu q Marc 10
chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, 30 Luc 19,17
neu diroedd, er mwyn fy enw i, efe a dderbyn y cant 18
cymmaint, a bywyd tragywyddol a etifedda efe.
30 Ond llawer o'r rhai blaenaf a fyddant yn olaf, a'r
rhai olaf yn flaenaf.

## PEN. XX.

*Dammeg o gyflogi gwaith-wyr i'r win-llan. 17 Crist yn eu rhybuddio hwynt i ddioddef. 20 Deisyfiad mam meibion Zebedeus, ac atteb Crist. 30 Dau ddeillion yn cael eu golwg.*

CANYS [r] teyrnas nefoedd sydd debyg i berchen tŷ r Ioan 15,
yr hwn a aeth allan a hi yn dyddhau i gyflogi 1 2 Tim.4.7
gweith-wyr i'w win-llan. 8
2 Ac wedi cyduno â'r gweith-wyr er ceiniog y dydd, Heb. 11,
efe a'u hanfonodd hwy i'w win-llan. 26
3 [s] Ac efe a aeth allan yng-hylch y drydedd awr, ac s Ioan 11 9
a welodd eraill yn sefyll yn segur yn y farchnadfa, Act. 17,5
4 [t] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch chwithau t Rhuf. 6
hefyd i'r win-llan, a pha beth bynnac a fydd cyfiawn 23
mi a'i rhoddaf i chwi, ac hwy a aethant ymmaith.
5 A thrachefn efe a aeth allan yng-hylch y chwech-
ed a'r nawfed awr, ac a wnaeth yr un modd.
6 [u] Ac efe a aeth allan yng-hylch yr unfed awr ar u Luc 19,
ddec, ac a gafas eraill yn sefyll yn segur, ac a ddywed- 49

odd wrthynt, Pa ham yr ydych chwi yn sefyll ymma
ar hyd y dydd yn segur?
vIoan 15, 5 7 v Dywedasant wrtho, am na chyflogodd neb nyni:
Esa.26,12 yntef a ddywedodd wrthynt, Ewch chwithau hefyd i'r
win-llan, a pha beth bynnac fyddo cyfiawn, chwi a'i
cewch.
wCol 2,3 8 w A phan aeth hi yn hwyr, arglwydd y win-llan a
Ioan 1,16 ddywedodd wrth ei oruchwiliwr, Galw 'r gweith-wŷr,
1Thes. 4 a dyro iddynt eu cyflog, gan ddechreu o'r rhai diwedd-
16 af hyd y rhai cyntaf,
xRhuf.9 9 x A phan ddaeth y rhai [a gyflogasid] ynghylch yr
16 unfed awr ar ddec, cafodd pob un geiniog.
10 A phan ddaeth y rhai cyntaf, hwy a dybiasant y
caent fwy, eithr hwythau a gawsant bob un geiniog.
yLuc 15, 11 y Ac wedi iddynt gael, grwgnach a wnaethant yn
28, 29 erbyn gŵr y tŷ,
z1Cor. 4, 12 z Gan ddywedyd, Mai un awr y gweithiodd y rhai
11 2Cor. 11 olaf hyn, a thi a'u gwnaethost hwynt yn gystal â nin-
23, 24 nau, y rhai a ddugasom bwys y dydd a'r gwrês.
a1Cor. 3 13 a Yntef a attebodd i un o honynt, ac a ddywedodd,
9 Y cyfaill, nid ydwyf yn gwneuthur dim cam â thi:
ond er ceiniog y cydunaist â mi?
bAdn. 2, 14 b Cymmer yr hyn sydd eiddot ti, a dos ymmaith:
13 yr ydwyf yn ewyllysio rhoddi i'r olaf hwn megis i
2 Cor. 1, 10 tithe.
cDiar.23 15 c Neu, onid cyfreithlawn i mi wneuthur a fyn-
6 nwyf am yr eiddo fi? a ydyw dy lygad ti yn ddrwg
am fy mod i yn dda?
dEph. 1, 16 d Felly y bydd y rhai olaf yn flaenaf, a'r rhai
4 blaenaf yn olaf: canys llawer a alwyd, ac ychydig a
ddewiswyd.
eAct. 10, 17 e A'r Iesu a aeth i fynu i Ierusalem, ac a gym-
41 merth y deuddec discybl o'r neilltu ar y ffordd, ac a
Deut.6,7 ddywedodd wrthynt,
18 Wele, nyni yn myned i fynu i Ierusalem, a Mâb
y dyn a draddodir i'r arch-offeiriaid, ac i'r scrifen-
nyddion, a hwy ai condemniant ef i farwolaeth,
fIoan 18, 19 f Ac ai traddodant ef i'r cenhedloedd iw watwar,
31 ac iw fflangellu, ac iw groes-hoelio: a'r trydydd dydd
Esa.53,8 yr adgyfyd efe.
20 Yna y daeth mam meibion Zebedeus atto yng-
hyd â'i meibion, gan addoli a deisyf peth ganddo ef.
gLuc 19, 21 g Ac efe a ddywedodd wrthi, Pa beth a fynni? y
12 hi a ddywedodd wrtho, Dywet am gael o'm dau fab
Dan.2,44 hyn eistedd y naill ar dy law ddehau, a'r llall ar dy
2Pedr 1, 11 law asswy yn dy frenhiniaeth.
h1Cor.15 22 h A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd, Ni wydd-
29 och beth yr ydych yn ei geisio, a ellwch chwi yfed y
cwppan yr ydwyfi ar yfed o honaw? a'ch bedyddio
â'r bedydd y bedyddir fi? dywedasant wrtho, Gallwn.
iIoan5,19 23 i Ac efe a ddywedodd wrthynt, Diogel yr yfwch
o'm cwppan, ac i'ch bedyddir â'r bedydd i'm bedyddir
âg ef, eithr eistedd ar fy llaw ddehau, ac ar fy llaw
asswy, nid i mi y mae rhoi, eithr i'r sawl y darparwyd
gan fy Nhâd [y rhoddir.]
jDiar.13, 24 j A phan glybu y dêc hyn, hwy a lidiasant wrth y
10 ddau frodyr.
kLuc22, 25 k A'r Iesu a'u galwodd hwynt atto, ac a ddywed-
25 odd, Gwyddoch fod pennaethiaid y cenhedloedd yn
u 2, 2,3 tra arglwyddiaethu arnynt hwy, a'r gwŷr mawrion yn
arfer awdurdod arnynt hwy.
l1Cor. 1, 26 l Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi, ond
24 3 Ioan 8 pwy bynnac a fynno fod yn fawr yn eich plith chwi,
m Rhuf. bydded yn weinidog i chwi.
16.1 27 m A phwy bynnac a fynno fod yn bennaf yn eich
1 Cor. 9, 19 plith, bydded eich gwas chwi,

28 n Megis ni ddaeth Mab y dŷn i'w wasanaethu nPhil. 2, 7
ond i wasanaethu, ac i roddi ei enioes yn bridwerth Ioan 17,9
tros lawer.
29 o Ac a hwynt hwy yn myned o Iericho y dilyn- oMarc10 46
odd tyrfa fawr ef.
30 p Ac wele ddau ddeillion yn eistedd ar fin y ffordd, pAct.3,8
pan glywsant fod yr Iesu yn myned heibio, a lefasant,
gan ddywedyd, Arglwydd fâb Dafydd trugarhâ wrthym.
31 q A'r dyrfa a'u ceryddodd hwynt fel y tawent: q 2 Sam. 6, 22
hwythau a lefasant fwy-fwy, gan ddywedyd, Ar-
glwydd fâb Dafydd trugarhâ wrthym.
32 r Yna y safodd yr Iesu, ac a'u galwodd hwynt, ac rSal.65,2
a ddywedodd, Pa beth a ewyllysiwch i mi ei wneuth-
ur i chwi?
33 s Dywedasant wrtho, O Arglwydd agoryd ein sAct 3,5, 6
llygaid.
34 t A'r Iesu gan dosturio, a gyffyrddodd â'u llygaid, tHeb. 4, 15
ac yn ebrwydd y cafodd eu llygaid olwg, ac hwy a'i Sal 116.1
dilynasant ef. Luc8,35

## PEN. XXI.

*Crist yn marchogeth ar assyn i Ierusalem, 12 yn gyrru y pryn-wyr a'r gwerth-wyr allan o'r Deml, 19 y ffigus-pren yn gwywo, 25 bedydd Ioan, 28 pwy sydd yn gwneuthur ewyllys Duw, 35 y gwinllan-wyr anghyfiawn yn arwyddocau aniolchgarwch yr Iddewon.*

A u PHAN ddaethant yn gyfagos i Ierusalem a'u uAct.22,
dyfod hwy i Bethphage i fynydd yr Oliwŷdd, yna 22
yr anfonodd yr Iesu ddau ddiscybl,
2 v Gan ddywedyd wrthynt, Ewch i'r dref sydd ar vIoan21,
eich cyfer chwi, ac yn y man chwi a gewch assyn yn 17
rhwym, ac ebol gyd â hi: gollyngwch hwynt, a dyg- a 1, 41
wch attafi.
3 w Ac os dywed neb ddim wrthych, dywedwch Fod wLuc24,
yn rhaid i'r Arglwydd wrthynt: ac yn y man, efe a'u 25 Heb.1,2,
gollwng hwynt. 3
4 x A hyn oll a wnaethpwyd i gyflawni yr hyn a xEsa.61,
ddywedasid trwy 'r prophwyd, gan ddywedyd, 11
5 y Dywedwch i ferch Sion, Wele dy Frenin yn yPet.2,2
dyfod attat yn fwyn, ac yn eistedd ar assyn, ac ebol, Heb.3,5
llwdn assyn arferol a'r iau. 1 Ioan 4, 10
6 Y discyblion a aethant, ac a wnaethant fel y gorch- 2Cor. 10,
ymynodd yr Iesu iddynt. 1
7 Ac hwy a ddugasant yr assyn a'r ebol, ac a ddod-
âsant eu dillad arnynt, ac a'i gosodasant ef ar hynny.
8 z A thyrfa ddirfawr a danâsant eu dillad ar y ffordd: z2Bren 9
eraill a dorrasant gangau o'r gwŷdd, ac a'u tanâsant 13 Lef. 23,
ar hyd y ffordd. 40
9 a A'r dyrfa bobl y rhai oeddynt yn myned o'r blaen, a 1Bren.
a'r rhai oeddynt yn dyfod ar ôl a lefasant, gan ddy- 1, 39 Sal. 118,
wedyd: Hosanna i fâb Dafydd: bendigedic fyddo'r 26
hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd, Hosanna Gen. 3,15
yn y goruchelder.
10 b Ac wedi ei ddyfod i Ierusalem, y ddinas oll a bSal. 24,
gynhyrfodd, gan ddywedyd, Pwy yw hwn? 7
11 A'r bobl a ddywedasant, Hwn yw'r Iesu y pro-
phwyd o Nazareth yn Galilæa.
12 c A'r Iesu a aeth i mewn i Deml Dduw, ac ai taflodd cIoan 2,
hwynt oll allan y rhai oeddynt yn gwerthu ac yn 15 Sal. 93,5
prynu yn y Deml, ac a ddymchwelodd i lawr fyrddau Deut 14,
y newid-wŷr arian, a chadeiriau y rhai oeddynt yn 23
gwerthu colomennod.
13 d Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae yn 'scri- dEsa. 56,
fennedic, tŷ gweddi y gelwir fy nhŷ mau fi, eithr chwi 7
a'i gwnaethoch yn ogof lladron.
14 Yna y daeth y deillion a'r cloffion atto yn y Deml,
ac efe a'u hiachaodd hwynt.

eEsa. 26 15 e A phan welodd yr arch-offeiriaid a'r 'scrifen-
11 Act. 13, nyddion y rhyfeddodau a wnaethe efe, a'r plant yn
45 a 4, 2 llefain yn y Deml, ac yn dywedyd, Hosanna i fab
Dafydd, hwy a lidiasant.
fIoan 5, 16 f Ac hwy a ddywedasant wrtho, A wyt ti yn cly-
41, 44 Sal. 18, 2 wed yr hyn a ddywed y rhai hyn? a'r Iesu a ddywed-
1 Cor 1, odd wrthynt, Ydwyf, oni ddarllenasoch erioed, o enau
17 plant bychain, a rhai yn sugno y perffeithiaist foliant?
gIoan 6, 17 g Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth o'r ddinas
15 i Bethania, ac a letteuodd yno.
hHeb. 4, 18 h A'r boreu fel yr oedd efe yn dychwelyd i'r
15 ddinas, yr oedd arno newyn.
iLuc 13 6 19 i A phan welodd efe ryw ffigus-bren ar y ffordd,
Esa. 5, 2 efe a ddaeth atto, ac ni chafodd ddim arno ond dail un
2Tim. 3, unic, ac efe a ddywedodd wrtho, Na thyfed ffrwyth
5 Luc19,42 arnat byth mwyach, ac yn ebrwydd y crinodd y ffigus-
Pen 13,6 Ioan 15,6 bren.
20 A phan welodd y disgyblion, hwy a ryfeddasant
gan ddywedyd, Pa fodd y crinodd y ffigus-bren yn y
fann?
jRhuf. 4 21 j A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt,
20 Iago 1,6 Yn wir meddaf i chwi, Os bydd gennych ffydd, ac heb
ammau dim, ni wnewch yn unic hyn [a wnaethym] i'r
ffigus-bren, eithr hefyd os dywedwch wrth y mynydd
hwn, Ymgyfod, a bwrw dy hun i'r môr, hynny fydd.
kHeb.11 22 k A'r hyn oll a ddymunoch mewn gweddi gan
6 gredu, a dderbyniwch chwi.
lHeb.5,4 23 l Ac wedi ei ddyfod efe i'r Deml, yr archoffeir-
iaid a henuriaid y bobl a ddaethant atto fel yr oedd efe
yn athrawiaethu, gan ddywedyd hyn, Wrth ba awdur-
dod yr wyt yn gwneuthur hyn? a phwy a roddes i ti
yr awdurdod hyn?
24 A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
Minne a ofynnaf i chwithau un gair, yr hwn os myn-
egwch i mi, minnef a fynegaf i chwithau, wrth ba
awdurdod yr wyf yn gwneuthur hyn.
mIoan 3 25 m Bedydd Ioan, o ba le yr oedd? ai o'r nef ai o
31 Luc 7,30 ddynion? Yna y rhysymmasant yn eu plith eu hunain,
gan ddywedyd, Os dywedwn mai o'r nef, efe a ddy-
wed wrthym, Pa ham gan hynny na's credasoch ef.
26 Ac os dywedwn mai o ddynion, y mae arnom
ofn y bobl: canys y mae pawb oll yn cymmeryd Ioan
fel prophwyd.
nIob5.13 Diar. 26 4 27 n Yna yr attebasant i'r Iesu gan ddywedyd, Ni
wyddom ni: ac yntef a ddywedodd wrthynt, Nid wyf
finne yn dywedyd i chwi wrth pa awdurdod yr wyf
yn gwneuthur hyn.
o 2 Sam. 12. 1 28 o Ond beth a dybygwch chwi? yr oedd i ŵr ddau
Luc15,11 fab, ac efe a ddaeth at yr hynaf, ac a ddywedodd,
Dos fab a gweithia heddyw yn fy ngwinllan.
pEph. 2, 29 p Ac yntef a attebodd, ac a ddywedodd, Nid âf fi:
11 Luc15,17 ond wedi hynny yn ol edifarhau arno, efe a aeth.
qLuc 18, 30 q A phan ddaeth efe at yr ail, efe a ddywedodd
11 Ex. 19, 8 yr un modd, ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Mi a
âf arglwydd: ac nid aeth efe.
r2Sam.5, 31 r Pa un o'r ddau a wnaeth ewyllys y tad? dywed-
6 Luc19,28 asant wrtho, Y cyntaf. Yr Iesu a ddywedodd wrth-
ynt, Yn wir meddaf i chwi, yr aiff y Publicanod a'r
puteiniaid o'ch blaen chwi i deyrnas Dduw.
32 Canys daeth Ioan attoch yn ffordd cyfiawnder,
ac ni chredasoch ef: ond y Publicanod a'r puteiniaid
sEsa. 5,1 a'i credasant ef: chwithau yn gweled nid edifarhau-
Marc 12, 1 soch wedi hynny fel y credech ef.
1 Cron. 17, 21 33 s Clywch ddammeg arall: Yr oedd rhyw ddyn o
1Cor. 3,9 berchen tŷ yr hwn a blannodd winllan, ac ai caeodd
Luc19,12 hi o amgylch, ac a wnaeth ei win-wryf, ac a adeilad-
odd dŵr, ac a'i gosododd i lafur-wyr, ac a aeth i bell.
34 t A phan neshaodd amser y ffrwythau, efe a ddan- tLuc13,6
fonodd ei weision at y llafurwyr i dderbyn ei ffrwyth-
au hi:
35 u A'r llafurwyr a ddaliasant ei weision ef, ac a uAct. 7,
darawsant un, ac arall a laddasant, ac arall a labydd- 59 a 14, 19
iasant hwy.
36 Trachefn efe a anfonodd weision eraill mwy na'r
rhai cyntaf: ac hwy a wnaethant iddynt hwythau yr
un modd.
37 v Ac yn ddiweddaf oll efe a anfonodd attynt ei v Act. 4
fab ei hun, gan ddywedyd, Hwy a barchant fy mab i. 28
38 w A phan welodd y llafur-wyr y mab, hwy a ddy- wHeb.1,
wedasant yn eu plith eu hun, Hwn yw yr etifedd: 2
deuwch lladdwn ef, a chymmerwn ei etifeddiaeth ef.
39 x Ac wedi iddynt ei ddal ef, hwy a'i cymerasant xHeb. 13
ef, ac a'i fwriasant ef allan o'r winllan, ac a'i lladdas- 12
ant ef.
40 Am hynny, pan ddel arglwydd y winllan, pa
beth a wna efe i'r llafur-wŷr hynny?
41 y Hwy a ddywedasant wrtho, Efe a ddifetha yn y Luc 19
llwyr y dynion drwg hynny, ac a esyd ei win-llan i 27
lafur-wŷr eraill, y rhai a roddant iddo ffrwyth yn eu Rhuf. 11
hamserau. 19
42 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllenas-
och chwi erioed yn yr ysgrythyrau, Y maen yr hwn a
wrthododd yr adeilad-wŷr, hwnnw a wnaethpwyd yn
benn? yr Arglwydd a'i gwnaeth, a rhyfedd yw yn ein
golwg ni.
43 z Am hynny meddaf i chwi, y dygir teyrnas Dduw z Act, 13
oddi arnoch chwi, ac a'i rhoddir i genedl a ddygo ei 46 Gal.5 22
ffrwyth.
44 a A phwy bynnac a syrthio ar y maen hwn efe a aEsa.8 14
ddryllir, ac ar bwy bynnac y syrthio, efe a'i mâl ef yn Rhuf. 9 33
chwilfriw. Dan.2 35
45 b A phan glybu'r arch-offeiriaid a'r Pharisæaid ei bRhuf. 2
ddamhegion, hwy a wybuant mai am danynt hwy y 15
dywedase efe.
46 c Ac hwy yn ceisio ei ddala, a ofnasant y bobl, am c1Tim. 4
eu bod yn ei gymmeryd ef fel prophwyd. 9 Luc20 19

## PEN. XXII.

*1 Dammeg y briodas yn arwyddocau galwedigaeth y cenhedloedd. 11 A dialedd rhagrith-wyr, 16 Ymrysymmiad am deyrn-ged. 31 Am yr adgyfodiad. 36 Y gorchymyn mwyaf, a'r ail. 41 Iesu yn ymresymmu a'r Pharisæaid am y Messias.*

A'R Iesu gan atteb a lefarodd wrthynt drachefn
mewn damhegion, gan ddywedyd,
2 d Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ddyn a oedd frenin, dDan. 19
yr hwn a wnaethe briodas iw fab. 9
3 e Ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wa- e 2Cron.
hoddasid i'r briodas, ac ni fynnent hwy ddyfod. 36 15 Esa. 65 2
4 f Trachefn efe a anfonodd weision eraill, gan ddy- f Diar. 9
wedyd, Dywedwch wrth y rhai a wahoddwyd, Wele, 1 2
paratoais fyng-hinio, fy ychen a'm pascedigion a ladd-
wyd, a phob peth sydd barod, deuwch i'r briodas.
5 g Ac hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymmaith, g1Tim. 6
un iw faes, ac arall iw fasnach. 10
6 h A'r llaill a ddaliasant ei weision ef, a chan wneu- hAct4 17
thur yn drahaus â hwynt a'u lladdasant.
7 i A phan glybu y brenin, efe a lidiodd, ac a ddanfon- i Luc 16
odd allan ei luedd-wŷr, ac a ddinystriodd y lleiddiaid 43
hynny, ac a loscodd eu dinas hwynt.
8 j Yna efe a ddywedodd wrth ei weision, Yn wir y j Act. 13
briodas sydd barod, ond y rhai a waheddasit, nid oedd- 46
ynt deilwng.

kRhuf.10 18 9 [k] Ewch gan hynny allan i'r priffyrdd, a chynnifer
Esa.65 2 ag a gaffoch gwahoddwch i'r briodas.
10 A'r gweision hynny a aethant allan i'r priffyrdd,
ac a gasclasant yng-hyd gynnifer oll ag a gawsant,
drwg a da, a llanwyd y briodas o wahaddedigion.
lLuc19 15 11 [l] A phan ddaeth y brenin i mewn i weled y gwa-
16 1Sam.16, haddedigion, efe a ganfu yno ddyn heb wisc priodas
7 am dano.
Rhuf. 13 12 [m] Ac efe a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, Pa fodd
14 mRhuf.2 y daethost i mewn ymma heb fod gennit wisc priodas?
15 ac yntef a aeth yn fud.
13 Yna y dywedodd y brenin wrth y gweision, Rhwym-
wch ei draed a'i ddwylo: cymmerwch ef ymmaith, a
theflwch i'r tywyllwch eithaf, yno y bydd wylofain a
rhingcian dannedd.
14 Canys llawer sy wedi eu galw, ac ychydig wedi
eu dewis.
nSal. 2 2 15 [n] Yna 'r aeth y Pharisæaid, ac a gymmerasant
Ier. 18 18 20 gyngor pa fodd y dalient ef yn [ei] ymmadrodd.
o2Cor. 2 16 [o] Ac hwy a ddanfonasant atto eu discyblion yng-
7 Gal.1 10 hyd a'r Herodianiaid gan ddywedyd, Athro, gwyddom
dy fod ti 'n air-wir, ac yn dyscu ffordd Dduw mewn
gwirionedd, ac nad oes arnat ofal rhag neb: o blegit
nid wyt yn edrych ar wyneb dynion.
p Ier. 42 3 17 [p] Dywet i ni gan hynny, beth yr wyt ti yn ei
dybied, ai cyfreithlawn talu teyrn-ged i Cæsar, ai
nid yw?
18 A'r Iesu yn gwybod eu drygioni hwy, a ddywed-
odd, Pa ham yr ydych yn fy nhemtio i, chwi ragrith-
wyr?
qPen. 18 28 19 [q] Dangoswch i mi arian y deyrn-ged, ac hwy a
roesant atto geiniog.
20 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Eiddo pwy yw y
ddelw hon a'r orgraph?
rDiar.24 21 21 [r] Dywedasant wrtho, Eiddo Cæsar, yna y dywed-
Pen. 10 odd yntef wrthynt: Telwch chwithau yr hyn sydd
28 eiddo Cæsar i Cæsar, ar hyn sydd eiddo Duw i Dduw.
sSal. 121 7 22 [s] A phan glywsant hwy hyn, rhyfeddu a wnaeth-
ant, a'i adel, a myned ymmaith.
tAct. 23 23 [t] Y dydd hwnnw y daeth y Saducæaid atto, y rhai
8 sy yn dywedyd, nad oes adgyfodiad, ac hwy a ofyn-
nasant iddo,
u Sal. 55 24 [u] Gan ddywedyd, O Athro, fe a ddywedodd
21 Moses, os bydd marw neb, heb iddo blant, prioded ei
frawd ei wraig ef, a choded hâd iw frawd.
25 Ac yr oedd gyd â ni saith o frodyr, a'r cyntaf a
briododd wraig, ac a fu farw, ac efe heb hiliogaeth iddo
ac a adawodd ei wraig iw frawd.
26 Yn yr un modd yr ail, a'r trydydd, hyd y seithfed.
27 Ac yn ddiweddaf oll y bu farw y wraig hefyd.
28 Yn yr adgyfodiad gan hynny, gwraig i bwy o'r
saith fydd hi? canys hwynt-hwy oll a'i cawsant hi.
vHos.4 6 29 [v] A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
Phil.3 21 Yr ydych mewn amryfusedd am na wyddoch yr scryth-
yrau, na nerth Duw.
w 2Pedr 30 [w] O blegit yn yr adgyfodiad nid ydynt yn gwreica,
1 11 1 Cor. 7 nac yn gwra, eithr y maent fel angelion Duw yn y
38 nefoedd.
Phil.3 21 xEx.3 20 31 [x] Ac am adgyfodiad y meirw, oni ddarllenasoch
Eph. 6 17 yr hyn a ddywetpwyd wrthych gan Dduw, yr hwn a
Sal. 147 19 20 ddywedodd,
y Sal. 33 32 [y] Myfi yw Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw
12 Iacob: nid yw Duw, Dduw y rhai meirw, ond y rhai
byw.
33 [z] A phan glybu y bobl hynny rhyfeddu a wnaeth-
z Luc 20 39 ant am ei athrawiaeth ef,

34 [a] Ac wedi clywed o'r Pharisæaid ddarfod [i'r Iesu] aMarc12
ostegu y Saducæaid, hwythau a ymgynnullasant i'r 28 Tit. 1 11
un lle.
35 Ac un o honynt yr hwn oedd gyfraithiwr a ofyn-
nodd iddo gan ei demtio, a dywedyd,
36 Athro, Pa un yw 'r gorchymyn mawr yn y gyf-
raith?
37 [b] Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ceri yr Arglwydd bDiar.13
dy Dduw a'th holl galon, ac a'th holl enaid, ac a'th holl 36 Deut.6 5
feddwl.
38 Hwn yw 'r cyntaf, a'r gorchymyn mawr.
39 [c] A'r ail sydd gyffelyb i hwn, Ceri dy gymydog fel c Luc 10
tydi dy hun. 27 Rhuf. 13
40 Yn y ddau orchymyn hyn, y mae 'r holl gyfraith 8
a'r prophwydi yn sefyll.
41 [d] Ac wedi ymgasclu o'r Pharisæaid ynghyd, yr dMarc12
Iesu a ofynnodd iddynt, 35 Luc20 42
42 [e] Gan ddywedyd, Beth a dybygwch chwi am e Rhuf.
Grist? mâb i bwy ydyw? dywedasant wrtho, Mâb 1 2 21
Dafydd.
43 [f] Yntef a ddywedodd wrthynt, Pa fodd gan hynny f 2 Pedr
y mae Dafydd yn yr yspryd yn ei alw ef yn Arglwydd 1 21
gan ddywedyd, Act. 10 33
44 [g] Dywedodd yr Arglwydd, wrth fy Arglwydd, gHeb. 1
Eistedd ar fy neheulaw hyd oni osodwyf dy elynion 13
yn droed-faingc i'th traed. a 10 12 13
45 [h] Am hynny os galwodd Dafydd ef yn Arglwydd, h Luc 20
pa fodd y mae efe yn Fâb iddo? 44
46 [i] Ac ni fedre neb atteb gair iddo, ac ni feiddiodd iIob 5 13
neb o'r dydd hwnnw allan ymofyn ag ef mwy. 14

## PEN. XXIII.

Act. 6 10

*Crist yn dangos awdurdod a buchedd y Pharisæaid. 8 Yn dyscu gostyngeiddrwydd. 13 Crist yn cyhoeddi gwae i'r Pharisæaid a'r 'scrifenyddion am eu hamryw amryfusedd a'u rhagrith. 37 Crist yn cwyno i Ierusalem ei hanwybodaeth a'i dinistr.*

YNA y dywedodd, yr Iesu wrth y bobl a'i ddis-
cyblion.
2 [j] Gan ddywedyd, Yng-hadeir Moses y mae yr jAct15 15
'scrifennyddion a'r Pharisæaid yn eistedd.
3 [k] Yr hyn oll gan hynny a ddywedant wrthych am kTit.1 16
eu cadw, cedwch, a gwnewch: eithr ar ol eu gweith-
redoedd na wnewch, canys y maent yn dywedyd, ac
heb wneuthur.
4 [l] O blegit y maent yn rhwymo beichiau trymmion, l Luc 11
ac anhawdd eu dwyn, ac yn eu gosod ar ysgwyddau 46
dynion: ac hwy eu hunain ni syflant hwynt ag un o'u
bysedd.
5 Y maent yn gwneuthur eu holl weithredoedd iw
gweled o ddynion: canys y maent yn gwneuthur yn
llydan eu Phylacterau, ac yn gwneuthur ymylwaith
eu gwiscoedd yn fawr.
6 [m] Caru y maent y lle uchaf mewn gwleddoedd, a'r m Marc
prif eisteddleoedd mewn cymmanfâu, 12 38
7 A chyfarch yn y marchnadoedd, a'u galw gan
ddynion, Rabbi, Rabbi.
8 [n] Eithr na'ch galwer chwi Rabbi: canys un iw eich n1Cor. 4
Athro, Crist: chwithau oll brodyr ydych. 15
9 Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaiar: canys
un Tad sydd i chwi, yr hwn [sydd] yn y nefoedd.
10 [o] Ac na'ch galwer yn athrawon: canys un yw o Eph. 1
eich athro chwi, [sef] Crist. 22
11 [p] A'r mwyaf yn eich plith, bydded yn weinidog pPen. 20
i chwi. 27 Rhuf. 12 16,

PEN. XXIII. Adn. 3.] Yr hyn oll. Sef, yr hyn oll ag oedd yn gytunol â gair y gwirionedd! os amgen yr oedd yn rhaid ei ochelyd rhag gwenwyn o'r cwbl fel lefen yn effeithio'r holl does, Pen. xvi. 6.

e Luc 14 12 ¶ A phwy bynnac a ymdderchafa a ostyngir: a
11 Diar. 15 phwy bynnac a ymostyngo a dderchefir.
33 13 ¹ Eithr gwae chwi 'scrifennyddion, a Pharisæaid
r Luc 11 ragrithwyr canys yr ydych yn cau teyrnas nefoedd o
52 flaen dynion: canys chwi nid ydych yn myned i
a 7 49 mewn, ac nid ydych yn gadel i'r rhai a aent i mewn,
fyned i mewn.
s Luc 20 14 ˢ Gwae chwi 'scrifennyddion a Pharisæaid rag-
47 2 Sam. 13 rith-wyr, canys yr ydych yn difa tai y gwragedd
6 gweddwon, a [hynny] yn rhith hir weddio, am hynny
1 Tim. 6 y derbyniwch farn fwy.
10 Heb 1. 7 15 ᵗ Gwae chwi 'scrifennyddion a Pharisæaid rag-
Gal. 4 17 rithwyr canys amgylchu yr ydych y môr a'r tir i
wneuthur un proselit: ac wedi y gwneler, yr ydych
yn ei wneuthur ef yn fab uffern yn ddau mwy nâ chwi
eich hunain.
u Esa. 56 16 ᵘ Gwae chwi dywysogion deillion, y rhai ydych
10 11 yn dywedyd, Pwy bynnac a dwng i'r Deml nid yw
ddim: ond pwy bynnac a dwng i aur y Deml y mae
efe mewn dyled.
v Luc 24 17 ᵛ Chwychwi ffyliaid a deillion, pa un fwyaf ai'r
25 aur, ai'r Deml sydd yn sancteiddio 'r aur?
18 A phwy bynnac a dwng i'r allor, nid yw ddim:
ond pwy bynnac a dyngo i'r offrwm yr hwn sydd arni,
y mae efe mewn dyled.
19 Chwy chwi ffyliaid a deillion, pwy un fwyaf ai 'r
offrwm, ai'r allor yr hon sydd yn sancteiddio'r offrwm?
20 Pwy bynnac gan hynny a dwng i'r allor, sydd yn
tyngu i'r hyn oll sydd arni.
w Act. 7 21 ʷ A phwy bynnac a dwng i'r Deml, sydd yn
48 Sal. 132 tyngu iddi, ac i'r hwn sydd yn presswylio ynddi.
5 14 22 A'r hwn a dwng i'r nefoedd, sydd yn tyngu i
orsedd-faingc Duw, ac i'r hwn sydd yn eistedd arni.
x Luc 11 23 ˣ Gwae chwi 'scrifennyddion a Pharisæaid rag-
42 a 18 12 rithwyr: canys yr ydych yn degymmu y mintys, a'r
Act. 12 3 anys, a'r cwmin, ac yn gadel pethau trymmach o'r
Luc 1 6 gyfraith, sef barn, a thrugaredd, a ffyddlondab, y
pethau hyn sy raid eu gwneuthur, ac na adawer y
lleill.
y Ioan 18 24 ʸ Chwychwi dywysogion deillion, y rhai ydych
28 1 Sam. 21 yn hidlo gwybedyn, ac yn llyngcu camel.
7 25 ᶻ Gwae chwi 'scrifennyddion a Pharisæaid ragrith-
z Luc 11 wyr: canys yr ydych yn glanhau y tu allan i'r cwp-
39 Luc 16,14 pan a'r ddysgl, ac o'r tu mewn y maent yn llawn ys-
pail a gormodedd.
a Ier. 4 14 26 ᵃ Tydi Pharisæaid dall, glanhâ yn gyntaf y tu
Tit. 1 15 1 Cor. 6 mewn i'r cwppan a'r ddysgl, fel y byddo y tu allan yn
20 lân hefyd.
b Act. 23 27 ᵇ Gwae chwi 'scrifennyddion a Pharisæaid rhag-
3 rith-wyr: canys tebyg ydych chwi i feddau wedi eu
gwyn-galchu, y rhai a welir yn brydferth oddi allan,
ac oddi mewn ydynt yn llawn o escyrn y meirw, a
phob aflendid.
c Luc 18 28 ᶜ Ac felly yr ydych chwithau: oddi allan yr
11 ydych yn ymddangos i ddynion yn gyfiawn, ac o fewn
a 12 1 yr ydych yn llawn rhagrith, ac anwiredd.
29 Gwae chwi scrifenyddion a Pharisæaid rhagrith-
wyr: canys yr ydych yn adailadu beddau 'r prophwydi,
ac yn addurno beddau y rhai cyfiawn,
d Rhuf. 3 30 ᵈ Ac yr ydych yn dywedyd, Pe buasem ni yn
7 nyddiau ein tadau, ni buasem ni gyfrannogion â hwynt
o waed y prophwydi.
e Luc 9 22 31 ᵉ Ac felly yr ydych yn testiolaethu am danoch
a 11 48 eich hunain, eich bod yn blant i'r rhai a laddasant y
prophwydi.
32 Cyflawnwch chwithau hefyd fesur eich tadau.
33 ᶠ Oh seirph, hiliogaeth gwiberod, pa fodd y gell- f Rhuf. 3 13
wch ddiangc rhag barn uffern? Rhuf. 1,
34 ᵍ Am hynny wele, yr ydwyf yn anfon attoch 5, 6
brophwydi, a doethion, ac scrifennyddion, a rhai o g Eph. 4, 11
honynt a leddwch, ac a groes-hoeliwch, a rhai o hon- 1 Cor. 12, 28
ynt a ffrewyllwch yn eich Synagogau, ac a erlidiwch Dat. 2 10
o dref i dref. Act. 7, 59
35 ʰ Fel y del arnoch chwi yr holl waed gwirion a'r h Dat 18
a ollyngwyd ar y ddaiar, o waed Abel gyfiawn, hyd 24
waed Zacharias fab Barachias yr hwn a laddasoch
rhwng y deml a'r allor.
36 ⁱ Yn wir meddaf i chwi, daw hyn oll ar yr oes hon. i Sal 9 12
37 ʲ Jerusalem, Jerusalem, yr hon ydwyt yn lladd j Luc 13, 34
y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir attat,
pa sawl gwaith y mynnaswn gasclu dy blant yng-hyd,
megis y casgl yr iâr ei chywion tann ei hadenydd, ac
ni's mynnech.
38 Wele yr ydys yn gadel eich tŷ chwi yn anghyf-
annedd.
39 ᵏ Canys meddaf i chwi, ni'm gwelwch yn ol hyn, k Act 3 21
hyd oni ddywedoch, Bendigedic yw'r hwn sydd yn
dyfod yn enw yr Arglwydd.

## PEN. XXIV.

2 *Dinistr y Deml.* 11 *Rhybudd rhag gau athrawiaeth.*
29 *Arwyddion diwedd y byd.* 32 *Cyffelybrwydd o'r*
*ffigysbren.* 45 *Yn rhybuddio i fod yn ofalus.*

A'R ˡ Iesu a aeth allan, ac a aeth o'r deml, a'i ddis- l Marc 13 1
cyblion a ddaethant atto i ddangos iddo adailad-
aeth y Deml.
2 ᵐ A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oni welwch m Luc 19 44
chwi hyn oll? yn wir meddaf i chwi, ni adewir ymma
garreg ar garreg a'r ni ddattodir.
3 ⁿ Ac wedi iddo ef eistedd ar fynydd yr Oliwydd, n Act 3 31
ei ddiscyblion a ddaethant atto o'r naill-tu gan ddyw-
edyd, Mynega i ni pa bryd y bydd y pethau hyn, a
pha arwydd fydd o'th ddyfodiad, ac o ddiwedd y byd.
4 ᵒ A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, o 2 Ioan
Edrychwch rhag i neb eich twyllo chwi. 7 8
5 ᵖ Canys daw llawer yn fy enw, gan ddywedyd, p 2 Thes
Mi yw Crist, ac a dwyllant lawer. 2 4
6 ᑫ A chwi a gewch glywed am ryfeloedd, a sôn am Dat 3 2 q Sal 46 4
ryfeloedd: gwelwch na'ch tralloder: canys rhaid yw
bod [hyn] oll, eithr nid yw y diwedd etto.
7 ʳ Canys cyfyd cenedl yn erbyn cenedl, a theyrnas r Act 11
yn erbyn teyrnas, ac fe a fydd newyn, a heintiau, a 28
daiar-grynedigaethau mewn mannau.
8 ˢ A dechreuad gofidiau yw hyn oll. s Act 4 3
9 Yna i'ch rhoddant chwi i'ch gorthrymmu, ac a'ch a 5 18 Ioan 16 2
lladdant, ac chwi a gaseir gan yr holl genhedloedd er
mwyn fy enw i.
10 ᵗ Ac yna y rhwystrir llawer, ac y bradychant eu t Pen 13
gilydd, ac y casânt eu gilydd. 21 a 11 6
11 ᵘ Ac fe a gyfyd gau brophwydi lawer, ac a dwyll- u Act 20
ant lawer. 30
12 ᵛ Ac o herwydd yr amlheir anwiredd, fe a oera 2 Cor 11
cariad llawer. 13 v 2 Tim 4
13 ʷ Eithr y neb a barhao hyd y diwedd, hwn a fydd 16 a 1 15 w Heb 10
cadwedic. 36
14 ˣ A'r Efengyl hon am y deyrnas, a bregethir trwy'r x Rhuf 10
holl fyd yn destiolaeth i'r holl genhedloedd: ac yna y 9 a 15 19
daw y diwedd. Col 1 6
15 ʸ Am hynny pan weloch y ffieidd-dra anrheithiol, y Luc 21
(yr hyn a ddywedwyd trwy Ddaniel brophwyd) yn 20
sefyll yn y lle sanctaidd, y neb a'i darlleno, ystyried:

z Gen 19 17 16 [z] Yna y rhai a fyddant yn Indæa ciliant i'r myn-
nyddoedd.
17 Y neb a fyddo ar benn y tŷ, na ddescynned i
gymmeryd dim allan o'i dŷ.
a Luc 21 22 18 [a] A'r hwn a fyddo yn y maes, na ddychweled yn
ei ol i gymmeryd ei ddillad.
b Luc 23 29 19 [b] A gwae y rhai beichiogion, a'r rhai yn rhoi bron-
nau yn y dyddiau hynny.
c Act 1 12 20 [c] Eithr gweddiwch na byddo eich enciliad y gaiaf,
nac ar y dydd Sabboth.
d Luc 21 23 24 21 [d] Canys y pryd hynny y bydd gorthrymder mawr,
y fath ni bu o ddechreu yr byd, hyd yr awr hon, ac
ni bydd.
e Rhuf 11 5 22 [e] Ac oni buase byrhau y dyddiau hynny, ni buase
gadwedic un cnawd oll: eithr er mwyn yr etholedig-
ion fe a fyrheir y dyddiau hynny.
f Marc 13 21 23 [f] Yna os dywed neb wrthych, Wele llymma Grist,
neu llymma, na chredwch.
2 Thes 2 1 2 24 [g] Canys gau gristiau a gyfodant, a gau brophwydi,
g 2 Thes 2 9 ac hwy a roddant arwyddion mawrion a rhyfeddodau,
hyd oni thwyllant pe bydde bossibl y rhai etholedig.
Ioan 10 28 25 [h] Wele, dywedais i chwi o'r blaen.
h Ioan 16 1 26 [i] Am hynny os dywedant wrthych, Wele, y mae
i Dat 2 14 efe yn y diffaethwch, nac ewch allan, wele y mae efe
Iudas 19 mewn stafelloedd, na chredwch.
j Act 1 11 27 [j] O blegit fel y daw y fellten o'r dwyrain, ac y
tywynna hyd y gorllewyn, felly hefyd y bydd dyfod-
iad Mab y dyn.
k Luc 17 37 28 [k] Canys pa le bynnac y byddo y gelain yno'r ym-
gascl yr eryrod.
l Heb 10 37 29 [l] Ac yn y fan wedi gorthrymderau y dyddiau hynny,
2 Thes 2 1 2 y tywyllir yr haul, a'r lleuad ni rydd ei goleuni, a'r
sêr a syrthiant o'r nef, a nerthoedd y nefoedd a gyffröir.
m Dat 1 7 30 [m] Ac yna yr ymddengys arwydd Mab y dyn yn
13 a 15 1 y nef: ac yna y galara holl lwythau'r ddaiar, ac hwy
Dat 1 7 Act 1 9 a welant Fab y dyn yn dyfod yn wybrennau'r nef gyd
11 â nerth a gogoniant mawr.
1 Thes 4 16 31 [n] Ac efe a ddenfyn ei angelion ag udcorn, ac â
n 1 Cor 15 llêf fawr, ac hwy a gasclant yr etholedigion yng-hŷd
51 o'r pedwar gwynt, ac o'r eithafoedd bwy-gilydd i'r
nefoedd.
o Luc 21 29 32 [o] Dyscwch chwithau ddammeg gan y ffigus-bren:
Iago 5 9 pan yw ei gangeu yn dyner, a'i ddail yn blaguro,
gwyddoch fod yr haf yn agos.
33 Ac felly chwithau, pan weloch hyn oll gwybydd-
wch fod yn agos, wrth y drysau.
p Rhuf. 11 25 34 [p] Yn wir meddaf i chwi, nid aiff yr oes hon heibio
hyd oni wneler hyn oll.
q 2 Pedr 3 7 35 [q] Nef a daiar a ânt heibio, eithr fyng-eiriau i nid
ânt heibio.
r Dat 16 15 36 [r] Ac am y dydd hwnnw a'r awr, ni's gŵyr neb,
nac angelion y nef, onid fy Nhad yn unic.
Act 1 7 s Gen 6 5 37 [s] Ac fel yr oedd dyddiau Noe, felly hefyd y bydd
1 Thes. 5, 2 dyfodiad Mab y dyn.
t Sal. 37, 13 38 [t] O blegit fel yr oeddynt yn y dyddiau ym mlaen
y diluw yn bwytta, ac yn yfed, yn gwreica, ac yn
Heb. 11, 7 gwra, hyd y dydd yr aeth Noe i'r llong.
u Dat. 18, 7 39 [u] Ac ni wybuont hyd oni ddaeth y diluw a'u
cymmeryd hwy oll ymmaith: felly hefyd y bydd
2 Pedr 2, 5, 6 dyfodiad Mab y dyn.
v Mal. 3, 15 40 [v] Yna y bydd dau yn y maes, y naill a gymmerir
a'r llall a adewir.
41 Dwy a fydd yn malu mewn melin, un a gymmerir,
a'r llall a adewir.
w Marc 13, 33 42 [w] Gwiliwch am hynny: am na wyddoch pa awr
y daw eich Arglwydd.

43 [x] A gwybyddwch hyn, pe gwyddied gŵr y tŷ'r x 1 Thes. 5, 2
awr y dele'r lleidr, efe a wilie, ac ni adawe gloddio
ei dŷ trwodd.
44 [y] Am hynny byddwch chwithau barod: canys yn y Dat. 21, 2
yr awr ni's tybioch y daw Mab y dyn.
45 [z] Pwy gan hynny sydd wâs ffyddlon a doeth, yr 2 Cor 11 1
hwn a osododd ei Arglwydd yn oruchwiliwr ar ei z 1 Cor. 4 2
deulu, i roddi bwyd iddynt yn ei amser. Act. 20, 28
46 [a] Gwyn ei fŷd y gwâs hwnnw, 'r hwn pan ddêl ei Eph. 4, 19
Arglwydd, a'i caiff yn gwneuthur felly. 2 Tim. 4, 2
47 [b] Yn wir meddaf i chwi, ar ei holl dda y gesyd
efe ef.
48 [c] Ond os dywed y gwâs drwg hwnnw yn ei galon, a 1 Cor. 9 24
Y mae fy arglwydd yn oedi dyfod. b Luc 19, 17
49 [d] A dechreu curo ei gŷd-weision, a bwytta, ac c 2 Pedr 3
yfed gyd â'r meddwon: 1, 4
50 Arglwydd y gwâs hwnnw a ddaw yn y dydd nid d Phil. 3, 19
edrych efe am dano, ac mewn awr ni's gŵyr efe:
51 [e] Ac efe a'i gwahana ef, ac a rydd iddo ei rann e Iob 20, 29
gyd â'r rhagrith-wŷr yno y bydd wylofain a rhingcian Sal. 11, 6
dannedd.

## PEN. XXV.

*Dameg y dec morwyn yn dangos na ddylid oedi edifeirwch.*
*14 Y talentau yn arwyddocau fod yn rhaid arfer doniau*
*Duw yn dda. 30 Y farn ddiweddaf.*

YNA [f] tebyg fydd teyrnas nefoedd i ddec o for- f 1 Tim 4, 10
wynion, y rhai a gymmerasant eu lusernau ac
a aethant i gyfarfod â'r priod-fab.
2 A phump o honynt oedd yn gall, a phump yn
angall.
3 Y rhai angall a gymmerasant eu lusernau, ac ni
chymmerasant olew gyd â hwynt.
4 [g] A'r rhai call a gymmerasant olew yn eu llestri g Eph 3, 17
gyd â'u lusernau.
5 [h] A thra'r oedd y priod-fab yn aros yn hir, yr 1 Cor. 6, 19
hepiodd, ac yr hunodd pawb oll. h Luc 19, 12
6 [i] Ac ar hanner nos y bu gwaedd, Wele y priod-fab i Iob 5, 28
yn dyfod, ewch allan i gyfarfod âg ef. Act. 1, 11
7 Yna y cyfododd yr holl forwynion, ac a drwsias- Can 5, 11
ant eu lusernau.
8 A'r rhai angall a ddywedasant wrth y rhai call,
Rhoddwch i ni o'ch olew chwi: canys y mae ein lus-
ernau yn diffoddi.
9 [j] A'r rhai call a attebasant, gan ddywedyd, Rhag j 1 Pedr 4 18
na byddo digon i ni, ac i chwithau, ewch yn hytrach
at y rhai sy yn gwerthu, a phrynwch i chwi eich
hunain.
10 [k] A thra'r oeddynt yn myned i brynu, y daeth y k Dat 21, 2
priod-fab: a'r rhai oeddynt yn barod a aethant i mewn Sal. 95, 11
gyd âg ef i'r briodas, ac fe a gaewyd y porth.
11 [l] Wedi hynny y daeth y morwynion eraill gan l Heb. 12, 17
ddywedyd, Arglwydd, arglwydd, agor i ni.
12 [m] Ac efe a attebodd, Yn wir meddaf wrthych, m Ioan 10 14
nid adwen chwi.
13 [n] Gwiliwch gan hynny: am na wyddoch na'r n Marc 13 33
dydd, na'r awr y daw Mab y dyn.
14 [o] Canys [teyrnas nefoedd sydd] fel dyn yn myned o Luc 19, 12
i wlad bell, yr hwn a alwodd ei weision, ac a roddes 2 Cor. 15 10
ei dda attynt.
15 [p] Ac i un y rhoddes efe bum talent, ac i arall p Rhuf. 12 6
ddwy, ac i arall un, i bob un yn ol ei allu: ac yn y 2 Cor. 8, 12
fann efe a aeth oddi cartref.
16 [q] A'r hwn a dderbyniase y pump talent, a aeth, ac q 1 Pedr 4 10
a farchnadodd â hwynt, ac a ennillodd bump talent 2 Pedr 3, 18
eraill.

17 A'r un modd yr hwn a dderbyniase ddwy dalent,
a ennillodd yntef ddwy eraill.
r Phil. 2, 18 [r] Ond yr hwn a dderbyniase un, a aeth ac a
21 s 1 Pedr 5, gloddiodd yn y ddaiar, ac a guddiodd arian ei ar-
glwydd.
Heb. 10, 37 19 [s] Ac wedi llawer o amser y daeth arglwydd y
Hab. 2,3 Luc 16,2 gweision hynny, ac efe a gyfrifodd â hwynt.
t 1 Cor. 15 20 [t] Ac yna y daeth yr hwn a dderbyniase bum ta-
10 lent, ac a ddug bum talent eraill, gan ddywedyd, Ar-
2 Tim. 4, 7, 8 glwydd pump talent a roddaist i mi, wele mi a ennill-
ais bum talent eraill.
u Rhuf. 2, 21 [u] Yna y dywedodd ei Arglwydd wrtho, Da was
Luc 19,17 da a ffyddlon, buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th
Dat. 3,16 osodaf yn oruchaf ar lawer, dos i mewn i lawenydd
27 Dan. 7,25 dy arglwydd.
v Sal. 49,14 22 [v] A'r hwn a dderbynnase ddwy dalent, a ddaeth
Luc 22, 30 ac a ddywedodd, Arglwydd, dwy dalent a roddaist
Ioan 17, attaf: wele, dwy eraill a ennillais â hwynt.
24 1 Cor. 8, 23 A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Da, wâs da a
12 ffyddlon, buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf yn
oruchaf ar lawer, tyret i mewn i lawenydd dy arg-
lwydd.
w Gen. 3, 24 [w] A'r hwn a dderbynnase'r un talent, a ddaeth,
14 ac a ddywedodd, Arglwydd, gwyddwn mai gwr caled
oeddit, yn medi lle nis heuaist, ac yn casclu lle ni
wasceraist:
x Sal. 53, 25 [x] Am hynny mi a ofnais, ac a aethym ac a gudd-
iais dy dalent yn y ddaiar: wele, yr wyt yn cael yr
Luc 19,18 eiddot dy hun.
y Diar. 19 26 [y] A'i arglwydd a attebodd, ac a ddywedodd wrtho,
5 Heb 6,12 Ti wâs drwg a diog, gwyddit fy mod yn medi lle ni's
hauais, ac yn casclu lle nis gwascerais:
z Luc 19 27 [z] Am hynny y dylesit ti roddi fy arian at y cyf-
23 newid-wyr, fel pan ddeuwn y cawn dderbyn yr eiddo
fy hun ag elw.
28 Cymmerwch am hynny y talent oddi wrtho, a
rhoddwch i'r hwn sydd ganddo ddec talent.
a Pen. 13 29 [a] Canys i bob un y byddo ganddo y rhoddir, ac efe
12 a gaiff helaethrwydd, ac oddi ar yr hwn nid oes ganddo
Luc 4, 25 y dygir oddi arno yr hyn sydd ganddo.
30 Am hynny bwriwch y gwas anfuddiol i'r tywyll-
wch eithaf, yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.
b Phil. 2, 31 [b] A phan ddel Mab y dyn yn ei ogoniant a'i holl
angelion sanctaidd gyd ag ef, yna yr eistedd ar orsedd-
faingc ei ogoniant.
c 2 Cor. 5 32 [c] Ac ger ei fron ef y cynhullir yr holl genhedl-
oedd, ac efe a'u didola hwynt oddi wrth eu gilydd,
megis y didola y bugail y defaid oddi wrth y geifr.
d Sal. 16, 33 [d] Ac efe a esyd y defaid ar ei ddeheu-law, a'r geifr
a'r yr asswy.
e Eph 1,3 34 [e] Yna y dywed y Brenin wrth y rhai a fyddo ar
1 Pedr 1 ei ddeheu-law, Deuwch chwi fendigedigion fy Nhad,
meddiannwch y deyrnas yr hon a baratoiwyd i chwi
er pan seiliwyd y byd.
f Heb. 13 35 [f] Canys bum yn newynog, a chwi a roesoch i mi
fwyd: bu arnaf syched, a rhoesoch i mi ddiod: bum
ddieithr, a lletteuasoch fi.
Heb. 11 36 [g] Bum noeth, a dilladasoch fi: bum glaf, ac ym-
welsoch a mi: bum yng-harchar, a daethoch attaf.
37 [h] Yna yr ettyb y rhai cyfiawn iddo gan ddywedyd,
Arglwydd, pa bryd i'th welsom yn newynog, ac i'th
1 Cor. 13 borthasom? neu yn sychedig, ac y rhoesom i ti ddiod?
38 A pha bryd i'th welsom yn ddieithr, ac i'th let-
teuasom? neu yn noeth, ac i'th ddilladasom?
39 Neu pa bryd i'th welsom yn glaf, neu yng-harch-
ar, ac y daethom attat?

40 A'r Brenin gan atteb a ddywed wrthynt, Yn
wir meddaf i chwi, yn gymaint a gwneuthur o hon-
och i'r un lleiaf o'm brodyr hyn, i mi y gwnaethoch.
41 [i] Yna y dywed efe wrth y rhai a fyddant ar y i Pen. 7,
llaw asswy, Ewch oddi wrthif rai melldigedig i'r tân 23 2 Thes. 1
tragywyddol, yr hwn a baratoiwyd i ddiafol, ac iw 9 Gen. 4,11
angelion. Esa. 66,
42 [j] Canys bum newynog, ac ni roesoch i mi fwyd: 24 j Iago 2,
bu arnaf syched, ac ni roesoch i mi ddiod: 13
43 Bum ddieithr, ac ni'm lleteuasoch: noeth, ac ni'm
dilladasoch: yn glaf, ac yng-harchar ac ni ymwel-
soch â mi.
44 [k] Yna yr attebant hwythau iddo, gan ddywedyd, k Esa. 58,
Arglwydd, pa bryd i'th welsom yn newynog, neu yn 7
sychedig, neu yn ddieithr, neu yn noeth, neu yn glaf,
neu yng-harchar, ac ni weinasom i ti?
45 Yna 'r ettyb efe iddynt, gan ddywedyd, Yn wir
meddaf i chwi, yn gymmaint na's gwnaethoch i'r un
o'r rhai lleiaf hyn, ni's gwnaethoch i minne. l 1 Ioan 4,
46 [l] A'r rhai hyn a ant i boen tragywyddol: a'r rhai 18
cyfiawn i fywyd tragywyddol. Ioan 5,29

## PEN. XXVI.

Rhuf. 6, 23

3 *Bwriad yr offeiriaid yn erbyn Crist, tywalltiad yr enaint ar ei ben ef.* 26 *Swpper yr Arglwydd.* 34 *Petr yn gwadu Crist.* 47 *Brad Iudas.* 56 *Arwain Crist at Caiphas.*

AC [m] fe a ddarfu wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn m Ioan 16,
oll, efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, 1
2 [n] Chwi a wyddoch mai ym mhen y ddau ddydd y n Marc 14
mae'r Pasc: a Mab y dyn a roddir iw groes-hoelio. 1
3 Yna y casclwyd yr arch-offeiriaid a'r scrifennydd-
ion, a henuriaid y bobl i neuadd yr arch-offeiriad, yr
hwn a elwid Caiphas.
4 Ac hwy a ymgynghorasant, pa fodd y dalient yr
Iesu trwy ddichell, ac y lladdent [ef.]
5 [o] Eithr hwy a ddywedasant, Nid ar yr wyl, rhag bod o Marc 14
cynnwrf ym mhlith y bobl. 2
6 [p] Ac fel yr oedd yr Iesu yn Bethania yn nhy Simon p Ioan 12
wahan-glwyfus, 1
7 Fe ddaeth atto wraig, a chyd a hi flwch o enaint
gwerthfawr, ac a'i tywalltodd ar ei benn, ac efe yn
eistedd wrth y ford.
8 [q] A phan welodd ei ddiscyblion, hwy a lidiasant q Ioan 12
gan ddywedyd, Pa raid yr afrad hynn? 4
9 [r] Canys fe a allasid gwerthu yr enaint hwn er Iudas 19 r Ioan 12
llawer, a'i roddi ef i'r tlodion. 6
10 [s] A'r Iesu a wybu, ac a ddywedodd wrthynt, Pa 1 Tim. 4,1 s Diar. 31
ham yr ydych yn gwneuthur blinder i'r wraig: canys 8
hi a weithiodd weithred dda arnaf.
11 [t] O blegit y tlodion a gewch bob amser gyd a chwi, t Act. 3,
a mi ni's cewch bob amser. 21
12 [u] Canys hi yn tywallt yr ennaint hwn a'r fyng- u Ioan 19
horph, a wnaeth hyn i'm claddu i. 40
13 [v] Yn wir meddaf i chwi, Pa le bynnac y pregethir v 1 Sam. 2
yr Efengyl hon yn yr holl fyd, hyn ymma hefyd a 30 Diar. 10,
wnaeth hi a fynegir, er coffa am dani hi. 7 Sal. 112,
14 [w] Yna yr aeth un o'r deuddec yr hwn a elwyd 6 w Marc
Iudas Iscariot at yr arch-offeiriaid, 10,14
15 [x] Ac a ddywedodd wrthynt, Pa beth a roddwch i Ioan 13 1 Ioan 2,
mi, a mi a'i rhoddaf ef i chwi? a hwy a dalasant iddo 19
ddec ar hugain o arian. x 1 Tim. 6 10
16 [y] Ac o hynny allan y ceisiodd efe amser cyfaddas Ex. 21,32
iw fradychu ef. y Diar. 1,
17 [z] Ac ar [y dydd] cyntaf o wyl y bara croiw, ei 18 z Ex. 12,
ddiscyblion a ddaethant at yr Iesu gan ddywedyd 18
wrtho, Pa le y mynni i ni baratoi i ti fwytta 'r Pasc? Marc 14, 17

aIob 1,18 18 [a] Ac yntef a ddywedodd, Ewch i'r ddinas at y
cyfryw un, a dywedwch wrtho, Y mae'r Athro yn
dywedyd, Fy amser sydd agos, gyd a thi y cynhaliaf
y Pasc, mi a'm discyblion.
19 A'r discyblion a wnaethant y modd y gorchymyn-
nase'r Iesu iddynt, ac a baratoasant y Pasc.
20 Ac wedi ei myned hi yn hwyr, efe a eisteddodd
gyd a'r deuddec.
bLuc 22, 21 [b] Ac fel yr oeddynt yn bwytta, efe a ddywedodd,
21 Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, y bradycha un o
honoch fi.
cAct.20, 22 [c] Yna yr aethant yn drist dros ben, ac a ddech-
30 Galar. 3 reuasant bob un ddywedyd wrtho: Ai myfi Arglwydd
40 yw [hwnnw?]
dSal.41,9 23 [d] Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, Yr hwn sydd
a 55, 14 yn trochi ei law gyd a mi yn y ddysgl, hwnnw a'm
bradycha i.
eEsa. 53 24 [e] Mab y dyn yn ddiau sydd yn myned fel y mae
7 Luc 24, yn scrifennedic am dano, eithr gwae'r dyn hwnnw
25 Heb. 10, trwy'r hwn y bradychir Mab y dyn: da a fuase i'r dyn
26 hwnnw pe na's genesid efe er ioed.
Act.2,23 25 [f] Ac Iudas yr hwn a'i bradychodd ef, a attebodd
Esa. 10,7 f Esa.3,9 ac a ddywedodd, Ai myfi yw [efe] Athro? yntef a
Diar.7, ddywedodd wrtho, Ti a ddywedaist.
13 g Ioan 6 26 [g] Ac fel yr oeddynt yn bwytta, yr Iesu a gym-
51 merth y bara, ac wedi iddo fendigo efe a'i torrodd, ac
Esa.53,5 a'i rhoddes i'r discyblion, ac a ddywedodd, Cymmer-
wch, bwyttewch, hwn yw fyng-horph.
h1Cor.10 27 [h] Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan a diolch, efe
16 a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, Yfwch bawb o
hwn:
iHeb9,14 28 [i] Canys hwn yw fyng-waed o'r Testament new-
ydd, yr hwn a dywelltir tros lawer er maddeuant
pechodau.
jLuc 22, 29 [j] Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, nad yfaf o hyn
17 a 19 12 allan o ffrwyth hwn y winwydden, hyd y dydd hwnnw,
pan yfwyf ef yn newydd gyd a chwi yn nheyrnas fy
Nhad.
k Eph.5 30 [k] Ac wedi iddynt ganu mawl, hwy a aethant allan
19 1Cor. 11, i fynydd yr Oliwydd.
15 31 [l] Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt, Chwy-chwi
lMarc14, 27 oll a rwystrir heno o'm plegit i: canys scrifennedic yw,
Zec.13,7 Tarawaf y bugail, a defaid y praidd a wascerir.
32 Eithr wedi fy adgyfodi, mi a âf o'ch blaen chwi
i Galilæa.
mSal.30, 33 [m] Ac Petr a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Pe
6 rhwystrid pawb o'th plegit ti, etto ni'm rhwystrir fi
byth.
nIoan 13 34 [n] Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Yn wir yr wyf yn
38 Marc 13, dywedyd i ti, mai'r nos hon cyn canu yr ceiliog i'm
35 gwedi dair-gwaith.
oMarc 14 35 [o] Petr a ddywedodd wrtho, Pe gorfydde i mi farw
31 gyd a thi, etto ni'th wadaf: a'r un modd hefyd y dy-
wedodd yr holl ddiscyblion.
36 Yna y daeth yr Iesu gyd ag hwynt i fann a elwid
Gethsemane, ac a ddywedodd wrth ei ddiscyblion,
Eisteddwch ymma tra'r elwyf, a gweddio accw.
pMarc10 37 [p] Ac efe a gymmerth Petr a dau fab Zebedeus,
35 Gal. 3,13 ac a ddechreuodd dristau ac ymofidio.
Esa. 53, 38 [q] Yna efe a ddywedodd wrthynt, Trist yw fy enaid
4 qPhil. 2 hyd angeu, arhoswch ymma, a gwiliwch gyd a mi.
8 39 [r] Ac efe a aeth ychydig pellach, ac a syrthiodd ar
Preg.4,8 rHeb. 5, ei wyneb, ac a weddiodd gan ddywedyd, Fy Nhad, os
7 gellir aed y cwppan hwn oddi wrthif, er hynny nid
Eph.3,14 Rhuf. 9, fel yr ewyllysiwyfi, ond fel yr [ewyllysiech] di.
15 40 Ac efe a ddaeth at ei ddiscyblion, ac a'u cafas

hwy yn cysgu, ac efe a ddywedodd wrth Petr, Pa ham?
oni allech chwi wilied un awr gyd a mi?
41 [s] Gwiliwch a gweddiwch rhac eich myned mewn sEph. 6,
profedigaeth, yr yspryd yn ddiau sydd yn barod, eithr 18 Rhuf. 7,
y cnawd sydd wann. 18
42 [t] Efe a aeth trachefn yr ailwaith, ac a weddiodd, tAct. 21,
gan ddywedyd, Fy Nhad, oni's gall y cwppan hwn 14
fyned oddi wrthif heb orfod i mi ei yfed, gwneler dy
ewyllys.
43 Ac efe a ddaeth, ac a'u cafas hwy yn cysgu trach-
efn: canys eu llygaid hwy oeddynt drymmion.
44 [u] Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth ymmaith u2Cor.12
trachefn, ac a weddiodd y drydedd waith, gan ddywed- 8 Act.10,16
yd yr un geiriau.
45 [v] Yna y daeth efe at ei ddiscyblion, ac a ddywed- vDiar.11
odd wrthynt, Cysgwch bellach a gorphywyswch, 31
wele y mae'r awr wedi nessau, a Mab y dyn a roddir
yn nwylo pechaduriaid.
46 [w] Codwch, awn, wele, y mae gerllaw yr hwn a'm wIoan14,
bradycha. 31
47 [x] Ac efe etto yn dywedyd hyn, Wele Iudas, un o'r xDiar. 4
deuddec, a thyrfa fawr gyd ag ef a chleddyfau, a ffynn 16 Ioan 18,3
oddi wrth yr arch-offeiriaid a henuriaid y bobl.
48 A'r hwn ai bradychodd ef a roese arwydd iddynt,
gan ddywedyd, Pa un bynnac a gusanwyf, hwnnw yw,
deliwch ef.
49 Ac yn ebrwydd y daeth at yr Iesu, ac a ddywed-
odd, Henffych well Athro, ac a'i cusanodd ef.
50 [y] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, i ba beth ySal.41,9
y daethost? yna y daethant, ac y rhoesant ddwylo ar a 55,13,14
yr Iesu, ac a'i daliasant.
51 [z] Ac wele un o'r rhai oeddynt gŷd â'r Iesu a es- zIoan 18,
tynnodd ei law, ac a dynnodd ei gleddyf, ac a daraw- 10
odd wâs yr arch-offeiriad, ac a dorrodd ei glust ef.
52 Yna y dywedodd yr Iesu wrtho, Dod ti dy gledd-
yf yn ei wain, canys pawb ar a gymmerant gleddyf,
a ddifethir â chleddyf.
53 [a] A ydwyt ti yn tybied na's gallaf yr awr hon aHeb. 1,
ddeisyf ar fy Nhâd fel y rhodde efe fwy nâ deuddec 6 Esa. 37,
lleng o angelion i mi? 36
54 [b] Pa fodd yntef, y cyflawnir yr 'scrythyrau y rhai bLuc 24,
a ddywedant, Mai felly y gorfydd bod? 25 Esa. 53,
55 [c] Yn yr awr honno, y dywedodd yr Iesu wrth y 10 c Ioan 7,
dyrfa, Chwi a ddaethoch allan megis at leidr â chledd- 44
yfau, ac â ffynn i'm dala i: yr oeddwn beunydd yn
eistedd, ac yn dyscu yn y Deml, ac ni'm daliasoch.
56 [d] A hyn oll a wnaethpwyd er cyflawni'r 'scrythyr-
au, a'r prophwydi: yna'r holl ddiscyblion a'i gadaw- d2Tim.1
sant ef, ac a ffoasant. 15 a 4, 16
57 [e] Hwythau a ddaliasant yr Iesu, ac a aethant ag e Act. 8,
ef at Caiaphas yr arch-offeiriad, lle'r oedd yr 'scrifen- 32 Ioan 18,
nyddion a'r henuriaid wedi ymgasglu yng-hŷd. 13
58 [f] Ac Petr a'i canlynnodd ef o hir-bell hyd yn f Ioan 3,
llŷs yr arch-offeiriad, ac a aeth i mewn, ac a eistedd- 12 Sal. 91,11
odd gŷd â'r gweision i weled y diwedd.
59 [g] A'r arch-offeiriad a'r henuriaid, a'r holl gyngor gAct. 6,
a geisiasant gau destiolaeth yn erbyn yr Iesu, iw roddi 13
ef i farwolaeth.
60 [h] Ac ni's cawsant, ie er dyfod yno gau-dystion hHeb. 7,
lawer ni chawsant: eithr o'r diwedd fe a ddaeth dau 26
gau dyst.
61 [i] Ac hwy a ddywedasant, Hwn a ddywedodd, Mi iIoan2,19
a allaf ddestruwio Teml Dduw, a'i hadailadu mewn
tri diwrnod.
62 Yna y cyfododd yr arch-offeiriad, ac a ddywed-
odd wrtho, a attebi di ddim? pa beth sydd pan fyddo y

rhai hyn yn testiolaethu yn dy erbyn?
jMarc 14, 63 j A'r Iesu a dawodd: yna yr attebodd yr arch-
6 Esa.53,7 offeiriad, ac a dywedodd wrtho, Yr ydwyf yn dy
dynghedu di trwy 'r Duw byw, ddywedyd o honot i
ni, os ty di yw Crist Mab Duw.
kDat.1, 64 k Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a ddywedaist:
7 Eph.1,20 eithr meddaf i chwi, Ar ol hyn y gwelwch Fab y dyn
Act.1,9 yn eistedd ar ddeheu-law gallu [Duw,] ac yn dyfod yn
wybrennau 'r nef.
65 Yna y rhwygodd 'r arch-offeiriad ei ddillad, gan
ddywedyd, Efe a gablodd: pa raid i ni wrth mwy o
dystion: Wele clywsoch ei gabledd ef.
lLef.24, 66 l Beth dybygwch chwi? hwy a attebasant, gan
16 ddywedyd, Y mae efe yn euog i farwolaeth.
Ioan10,31 mEsa.50 67 m Yna y poerasant yn ei wyneb, ac a'i bonelust-
6 iasant, eraill a'i cernodiasant ef,
Ioan18 22 68 n Gan ddywedyd, Prophwyda i ni, O Crist, pwy
nMarc14 65 yw'r hwn a'th darawodd?
oMarc14 69 o Petr oedd yn eistedd allan yn y neuadd, ac fe a
66 ddaeth morwyn atto, ac a ddywedodd, Yr oeddit tithe
gyd a'r Iesu o Galilæa:
70 Ac efe a wadodd ger eu bron hwy holl, ac a ddy-
wedodd, Ni's gwn beth yr wyt yn ei ddywedyd.
71 A phan ddaeth efe allan i'r porth y gwelodd [mor-
wyn] arall ef, ac hi a ddywedodd wrth y rhai oedd-
ynt yno, Yr oedd hwn hefyd gyd â'r Iesu o Nazareth.
pIago 1, 72 p A thrachefn efe a wadodd, gan dyngu, Nid ad-
15 wen i y dyn.
Ier.9,3 73 Ac ychydig wedi hynny y daeth atto rai a oedd-
ynt yn sefyll gerllaw, ac a ddywedasant wrth Pedr, Yn
wir yr wyt ti yn un o honynt, canys y mae dy lefer-
ydd yn dy gyhuddo.
qRhuf.9, 74 q Yna y dechreuodd efe ymregu, a thyngu, gan
3 ddywedyd, Nid adwen i y dyn: ac yn y man y canodd
y ceiliog.
rGen.45, 75 r Yna y cofiodd Pedr eiriau'r Iesu, yr hwn a ddy-
30 wedasei wrtho, Cyn canu 'r ceiliog ti a'm gwedi ñ dair
Ezec 6,9 gwaith, yna yr aeth efe all ac a wylodd yn dost.

## PEN. XXVII.

*Yr Iddewon yn rhoddi Crist yn rhwym at Pilat. 34. Hwy yn ei roddi ef ar y groes, ac yn ei gablu. 50. Ac yntef yn marw. 57. Ioseph yn ei gladdu ef.*

Diar.4, A PHAN ddaeth y boreu, yr ymgynghorodd yr
6 Mica 2,1 holl arch-offeiriaid a henuriaid y bobl yn erbyn
yr Iesu fel y rhoddent ef i farwolaeth.
Ioan 18, 2 t Ac hwy a aethant ymmaith ag ef yn rhwym, ac a'i
31 rhoesant at Pontius Pilatus y rhaglaw.
Diar. 9 3 u Yna pan weles Iudas yr hwn a'i bradychodd ef
7 ob 20,15 fyned barn yn ei erbyn ef, fe a fu edifar ganddo, ac a
ddug trachefn y dec ar hugain ariau i'r arch-offeiriaid
a'r henuriaid,
Sal. 51, 4 v Gan ddywedyd, Pechais gan fradychu gwaed
4 ob 6,14 gwirion, hwytheu a ddywedasant, Pa beth yw hynny
i ni? edrych ti.
Seph. 1 5 w Ac wedi iddo daflu 'r arian yn y Deml, efe a ym-
8 adawodd, ac a aeth, ac a ymgrogodd.
6 A'r arch-offeiriaid a gymmerasant yr arian, ac a
ddywedasant, Nid cyfreithlon i ni eu bwrw hwynt yn
y tryssor-dŷ, canys gwerth gwaed ydyw.
Act. 2, 7 x Ac wedi iddynt ymgynghori, hwy a brynnasant
ág hwynt faes y crochenydd yn gladdfa dieithriaid.
Act. 1, 8 y Ac am hynny y gelwir y maes hwnnw, Maes y
gwaed, hyd heddyw.
Zec.11, 9 z (Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddwetpwyd trwy
12, 13 Ieremias y prophwyd, gan ddywedyd, Ac hwy a gym-
merasant ddec ar hugain o arian, gwerth y gwerthedic,
yr hwn a brynnasant gan feibion Israel.
10 Ac hwy ai rhoesant am faes y crochenydd, megis
y gosodes yr Arglwydd i mi.)
11 a A'r Iesu a safodd ger bron y rhaglaw, a'r rhag- aIoan 18,
law a ofynnodd iddo, gan ddywedyd, A wyt ti yn frenin 36 1Tim. 6,
yr Iddewon? a'r Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a'i dy- 13
wedaist.
12 b A phan gyhuddwyd ef gan yr arch-offeiriaid a'r bPen.26,
henuriaid nid attebodd efe ddim. 63
13 c Yna y dywedodd Pilatus wrtho, Oni chlywi cRhuf.1,
faint o bethau y maent hwy yn ei destiolaethu yn dy 29
erbyn?
14 d Ac nid attebodd efe iddo un gair, fel y rhyfedd- dSal. 39,
odd y rhaglaw yn fawr. 1
15 e Ac ar yr wyl honno yr arfere y rhaglaw ollwng ePen. 15
i'r bobl un carcharor, yr hwn a ofynent. 6 Gen. 9,6
16 f Yna yr oedd ganddynt garcharor hynod a elwyd fMarc15,
Barrabas. 7
17 g Ac wedi iddynt ymgasglu yng-hyd, Pilatus a ddy- gPhil. 2,
wedodd wrthynt, Pa un a fynnwch i mi ei ollwng i 7
chwi? Barrabas, ai'r Iesu, yr hwn a elwir Crist?
18 h Canys efe a wydde yn dda, mai o genfigen y hRhuf.2,
rhoddasent ef. 15
19 Ac efe yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ei wraig a
ddanfonodd atto gan ddywedyd, Na fydded i ti a wnel-
ech â'r cyfiawn hwnnw, canys goddefais lawer heddyw
mewn breuddwydion o'i achos ef.
20 i A'r arch-offeiriaid a'r henuriaid a hudasant iSal. 22,
bobl i ofyn Barrabas, a difetha 'r Iesu. 16 Ioan7,48
21 j A'r rhaglaw a attebodd, ac a ddywedodd wrth- a 11,48
ynt, Pa un o'r ddau a fynnwch i mi ei ollwng i chwi? jAct.3,13
hwytheu a ddywedasant, Barrabas.
22 Pilatus a ddywedodd wrthynt, Pa beth a wnaf i
Iesu 'r hwn a elwir Crist? Hwy oll a ddywedasant
wrtho, Croes-hoelier ef.
23 k Yna y dywedodd y rhaglaw, Ond pa ddrwg a kSal. 11,
wnaeth efe? Yna y llefasant yn fwy, gan ddywedyd, 3 Gen.19,7
Croes-hoelier ef.
24 l Pan welodd Pilatus na thyccie iddo, ond bod
mwy o gynnwrf yn codi, efe a gymmerth ddwfr, ac a
olchodd ei ddwylo ger bron y bobl, gan ddywedyd,
Dieuog ydwyf oddi wrth waed y cyfiawn hwn, edrych-
wch chwi.
25 A'r holl bobl a attebodd, ac a ddywedodd, Bydd- lLef. 20,
ed ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant. 9 Sal.109. 9
26 m Yna y gollyngodd efe Barrabas iddynt, ac efe 15
a fflangellodd yr Iesu, ac ai rhoddes iw groes-hoelio. mIoan 19
27 n Yna mil-wyr y rhaglaw a gymerasant yr Iesu i'r 1 Diar. 12,
dadleudŷ, ac a gynhullasant atto yr holl fyddin. 10 Act 5,3
28 o Ac hwy a'i dioscasant, ac a roesant am dano nDiar. 9
fantell o scarlet, 12 Sal.22,16
29 p Ac a blethasant goron o ddrain, ac a'i dodasant oSal.22,7
ar ei benn, a chorsen yn ei law, ac a blygasant eu 1Cor. 4,9
gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddy- Barn. 16,
wedyd, Henffych well, Brenin yr Iddewon. 25 pPhil. 2,
30 Ac hwy a boerasant arno, ac a gymmerasant gor- 7
sen, ac a'i tarawsant ar ei benn.
31 q Ac wedi iddynt ei watwar, hwy a'i dioscasant q Act. 8,
ef o'r fantell, ac a'i gwiscasant ef â'i ddillad ei hun, ac 32
a aethant ag ef iw groes-hoelio. a 23 32
32 r Ac fel yr oeddynt hwy yn myned allan, hwy a rIoan 19
gawsant ddyn o Ciren a elwyd Simon: a hwn a gym- 17 Luc 23,
hellasant hwy i ddwyn ei groes ef. 28 sHeb. 13
33 s A phan ddaethant i le a elwyd Golgatha, sef yr 11, 12 Nah.19,5
hwn yw y benglogfa, tMarc15, 24
34 t Hwy a roesant iddo iw yfed finegr yn gymysc- Sal.69,22

edic a bustl: ac wedi iddo ei brofi, ni fynnodd efe yfed.
n Gal. 3, 13 35 n Ac wedi iddynt ei groes-hoelio ef, hwy a rannas-
Sal. 22,18 ant ei ddillad, ac a fwriasant goel-brennau, er cyflawni
y peth a ddywetpwyd trwy 'r prophwyd: Hwy a ran-
nasant fy nillad yn eu plith, ac ar fyng-wisc y bwrias-
ant goel-brennau.
v Iob5,18 15 36 v Ac hwy a eisteddasant, ac a'i gwiliasant ef yno.
w Ioan19 19 37 w Ac hwy a osodasant hefyd uwch ei benn ef ei
achos yn scrifennedic, HWN YW IESU BRENIN
Act. 4,12 YR IDDEWON.
Dat. 19, 16 38 x Yna y croes-hoeliwyd dau leidr gyd ag ef, un ar
x Esa. 53, 12 y llaw ddehau, ac arall ar yr asswy.
y Sal. 22, 7 39 y A'r rhai oeddynt yn myned heibio a'i cablasant
ef, gan escwyt eu pennau,
40 A dywedyd, Ti 'r hwn a ddestruwi 'r Deml, ac a'i
hadailedi mewn tri-diau, cadw dy hun, os ti yw Mab
Duw, descyn oddi ar y groes.
z Dat. 11 10 41 z A'r un modd yr arch-offeiriaid a'i gwatwaras-
ant ef gyd a'r scrifennyddion a'r henuriaid, gan ddy-
wedyd,
a Luc 4, 23 42 a Efe a waredodd eraill, nis gall efe ei ymwared
ei hun: os Brenin yr Israel yw efe, descynned yr awr
hon oddi ar y groes, ac ni a gredwn iddo.
b Sal. 22, 8 43 b Efe a ymddyriedodd yn Nuw, rhyddhaed efe ef
yr awr hon os myn ef: canys efe a ddywedodd, Mab
Duw ydwyf.
c Dat. 16, 8 44 c Yr un peth hefyd a edliwiodd y lladron, y rhai
Luc 23, 39 a grogasid gyd ag ef, iddo ef.
45 d Ac o'r chweched awr y bu tywyllwch mawr ar
d Ioan11, 9 yr holl ddaiar, hyd y nawfed awr.
e Heb. 3, 7 46 e Ac yng-hylch y nawfed awr, y llefodd yr Iesu
Sal. 22,4 a llef uchel, gan ddywedyd *Eli, Eli, lama sabach-*
*thani?* hynny yw, Fy Nuw, Fy Nuw, pa ham i'm
gwrthodaist?
f Mal.4,5 47 f A rhai o'r sawl oeddynt yn sefyll yno, pan glyw-
sant, a ddywedasant, Y mae hwn yn galw ar Elias.
g Ioan 19 28, 30 48 g Ac yn y fan un o honynt a redodd, ac a gym-
Marc 16 23 merth yspwrn, ac a'i llanwodd o finegr, ac a'i rhoddes
ar gorsen, ac a'i rhoes iddo, iw yfed.
49 Eraill a ddywedasant, Gad ti iddo: edrychwn a
ddaw Elias iw waredu.
h Ioan 19 30 50 h Yna y llefodd yr Iesu trachefn â llef uchel, ac a
Sal. 31 6 ymadawodd â'r Yspryd.
Luc 23, 46 51 i Ac wele, llen y deml a rwygwyd yn ddau, o'r
Act 7,59 cwrr uchaf hyd yr isaf, a'r ddaiar a grynodd, a'r
i Ex. 26, 31 main a holltwyd.
Heb. 6, 19 52 j A'r beddau a ymagorasant, a llawer o gyrph y
sainct y rhai oeddynt yn huno, a godasant,
Hag. 2 7 53 k Ac a ddaethant allan o'r beddau ar ol ei gyfodiad
j Dat. 1, 13 ef, ac a aethant i mewn i'r ddinas sanctaidd, ac a ym-
1 Cor. 15, 20 ddangosasant i lawer.
k Act. 10, 41 54 l Pan welodd y canwriad, a'r rhai oeddynt gyd âg
ef yn gwilied yr Iesu, y ddaiar yn crynu, a'r pethau a
1 Cor. 15, 4 wnaethid, hwy a ofnasant yn fawr, gan ddywedyd, Yn
l Act. 5, 11 wir Mab Duw ydoedd hwn.
Luc 23, 47 55 m Ac yr oedd yno lawer o wragedd yn edrych
arno o hir-bell, y rhai a ganlynasent yr Iesu o'r
Dan. 3, 25 Galilæa gan weini iddo ef.
m Luc8,3 56 Ym mhlith y rhai 'r oedd Mair Magdalen, a Mair
mam Iaco, ac Ioses, a mam meibion Zebedeus.
n Marc 15 43 57 n Ac wedi ei myned hi yn hwyr fe a ddaeth gŵr
Ioan 19, 38 goludog o Arimathia, a'i henw Ioseph, yr hwn a fuase
yntef yn ddisgybl i'r Iesu.
o Marc15 43 58 o Hwn a aeth at Pilatus, ac a ofynodd gorph yr
Iesu: yna y gorchymynnodd Pilatus roddi'r corph.
p Ioan 19 39 59 p Ac felly y cymmerth Ioseph y corph, ac a'i
hamdoes â lliain main glân.
60 q Ac a'i rhoddes yn ei fedd newydd, yr hwn a q Esa. 53 9
dorrase efe mewn craig, ac a dreiglodd faen mawr Ioan 11 38
wrth ddrws y bedd, ac a aeth ymmaith.
61 Ac yr oedd yno Mair Magdalen, a Mair arall yn
eistedd gyferbyn â'r bedd.
62 A thrannoeth yr hwn sydd ar ol y darpar-ŵyl yr
ymgynhullodd 'r arch-offeiriaid a'r Pharisæaid at Pi-
latus,
63 r Ac a ddywedasant, O arglwydd y mae yn gof r Ioan 7, 12
genym ddywedyd o'r twyll-wr hwnnw, ac efe etto yn 2 Cor. 6,8
fyw, O fewn tri-diau y cyfodaf. Pen. 12, 40
64 s Gorchymyn gan hynny gadw y bedd yn ddiogel s Diar.21 30
hyd y trydydd dydd, rhag dyfod ei ddiscyblion o hyd Sal. 33,5
nos a'i ladratta ef, a dywedyd wrth y bobl, Efe a gy-
fododd o feirw, ac felly y bydd yr amryfusedd dywedd-
af yn waeth nâ'r cyntaf.
65 t Yna y dywedodd Pilatus wrthynt, Y mae gen- t Act. 4,1
nych wiliadwriaeth, ewch, gwnewch mor ddiogel ac
y medroch.
66 Ac hwy a aethant, ac a wnaethant y bedd yn
ddiogel a'r wiliadwriaeth, ac a seliasant y maen.

## PEN. XXVIII.

*Adgyfodiad Crist, 2 yr Angel yn cyssuro y gwragedd, hwythau yn gweled Crist. 18 Crist yn anfon ei ddiscyblion i bregethu.*

YNA u yn niwedd y Sabboth, a hi yn dyddhau yn u Marc16 1
y dydd cyntaf o'r wythnos, y daeth Mair Mag- Ioan20,1
dalen a Mair arall i edrych y bedd.
2 v Ac wele bu daiar-gryn mawr: canys descynnodd v Sal. 68, 8
Angel yr Arglwydd o'r nef, ac a ddaeth, ac a dreigl- Dat. 11, 13
odd y garreg oddi wrth y drws, ac a eisteddodd arni.
3 w A'i wyneb-pryd oedd fel mellten, a'i wisc yn w Act 1, 10
wen fel eira.
4 x A rhag ei ofn ef dychrynnodd y ceidwaid ac Pen.17,2 x Diar.11, 21
aethant megis yn feirw.
5 y A'r Angel a attebodd, ac a ddywedodd wrth y y Esa. 3, 10
gwragedd, Nac ofnwch: canys mi a wn mai ceisio 'r Pen. 16,6
ydych yr Iesu 'r hwn a groes-hoeliwyd,
6 Nid yw efe ymma, canys cyfododd megis y dywed-
odd, deuwch, a gwelwch y fann lle y rhoddwyd yr
Arglwydd.
7 z Ac ewch ar ffrwst, a dywedwch iw ddiscyblion z 1 Sam. 7, 30
gyfodi o honaw o feirw: ac y mae efe yn myned o'ch
blaen chwi i Galilæa: yno y gwelwch ef: wele dy-
wedais i chwi.
8 a Yna'r aethant yn ebrwydd o'r fonwent gan ofn a a Rom.15 13
llawenydd mawr, ac a redasant i fynegu iw ddiscybl-
ion.
9 b Ac fel yr oeddynt yn myned i fynegu iw ddiscybl- b Can.3,4
ion ef, yna wele cyfarfu'r Iesu âg hwynt gan ddywed-
yd, Henffych well, ac hwy a ddaethant, ac a ymafel-
asant yn ei draed ef, ac a'i haddolasant.
10 c Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt, Nac ofnwch: c Ioan 20 17
ewch a dywedwch i'm brodyr, fel y delant i Galilæa,
yno y gwelant fi.
11 Ac wedi eu myned hwy: wele rhai o'r wiliadwr-
iaeth a ddaethant i'r ddinas, ac a fynegasant i'r arch-
offeiriaid yr hyn oll a wnaethid.
12 d Ac wedi iddynt ymgasclu yng-hyd a'r henuriaid, d Ioan 11 47
hwy a ymgynghorasant, ac a roesant arian yn helaeth
i'r milwyr,
13 Gan ddywedyd, dywedwch, Ei ddiscyblion a
ddaethant o hyd nos, ac a'i lladratasant ef, a ni yn
cysgu.
14 e Ac os clyw y rhaglaw hyn, ni a'i dygwn ef i e Act. 12, 19

gredu, ac a'ch gwnawn chwi yn ddiofal.
f 2Tim.6, 15 f Ac hwy a gymmerasant yr arian, ac a wnaethant
10 fel yr addyscwyd hwynt: ac fe a gyhoeddwyd y gair
2Thes.2,9 hwn ym mhlith yr Iddewon hyd y dydd heddyw.
16 Yna'r aeth yr un discybl ar ddec i Galilæa, i'r
mynydd lle'r archase yr Iesu iddynt.
17 A phan welsant ef, hwy a'i haddolasant ef, a rhai
a amheuasant.
g Eph. 1, 18 g A'r Iesu a ddaeth, ac a lefarodd wrthynt gan
20

ddywedyd, Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef,
ac ar y ddaiar.
19 h Ewch gan hyny a dyscwch yr holl genhedloedd, hMarc16
gan eu bedyddio hwy yn enw'r Tad, a'r Mab, a'r 15
Yspryd Glân.
20 i Gan ddyscu iddynt gadw pob peth a'r a orch- iMarc 7,
ymynais i chwi: ac wele'r ydwyf gyd â chwi bob 21 a 3, 15
amser hyd ddiwedd y byd. Amen. Ier. 1, 7
Dat. 2, 1

# EFENGYL IESU GRIST

## YN OL

# ST. MARC.

### PENNOD I.

*Swydd Ioan. 9 Bedydd, 13 Temtasiwn. 14 A phregethiaid Crist.*

a Mat 11, DECHREU a Efengyl Iesu Grist, Fab Duw.
10 2 b Fel yr scrifenir yn y Prophwydi, Wele, yr
b Esa.40, ydwyf yn anfon fyng-hennad o flaen dy wyneb, yr
3 hwn a drefna dy ffordd o'th flaen.
c Mal.3,1 3 c Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Paratoiwch
1 Cor. 6, ffordd yr Arglwydd, gwnewch yn iniawn ei lwybr-
Luc17,5 au ef.
d Luc. 4 4 d Ioan ydoedd yn bedyddio yn y diffaethwch, ac
1 yn pregethu bedydd edifeirwch, er maddeuant pech-
odau.
Luc9.27 5 e Ac holl wlad Iudæa a aeth allan atto ef, ac hwy
Ioan.9,15 o Ierusalem, ac a'u bedyddiwyd oll ganddo yn afon
yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau.
f Mat.11, 6 f Ac Ioan oedd wedi ei wisco â blew Camel, a
8 gwregis croen yng-hylch ei lwynau, a'i fwyd oedd
locust a mêl gwyllt.
Heb. 1, 7 g Ac efe a bregethodd gan ddywedyd, Y mae yn
dyfod ar fy ol i un cadarnach na myfi, yr hwn nid
Luc11,21 wyf deilwng i ostwng i ddattod carrae ei escidiau.
Gal.4.6 8 h Myfi a'ch bedyddiais chwi â dwfr: eithr efe a'ch
Act. 19,2 bedyddia chwi â'r Yspryd Glân.
Mat. 3, 9 i A bu yn y dyddiau hynny i'r Iesu ddyfod o Na-
Phil. 2.6 zareth yn Galilæa, ac efe a fedyddiwyd gan Ioan yn
Luc12,50 yr Iorddonen.
Ioan 1, 10 j Ac yn ebrwydd yn codi i fynu o'r dwfr, efe a
welodd y nefoedd yn agored, a'r Yspryd Glân yn
Luc 3,21 descyn arno megis colomen.
Pedr1 11 k A llef a ddaeth o'r nefoedd, Ty-di yw fy anwyl
Mat. 1,13 Fab yn yr hwn i'm bodlonwyd
Mat. 4,1 12 l Ac yn ebrwydd y gyrrodd yr yspryd ef i'r di-
ffaethwch.
Iobs.21 13 m Ac efe a fu yno yn y diffaethwch ddaugain
Heb. 1,6 nhiwrnod yn ei demtio gan Satan: ac yr oedd efe gyd
â'r gwyllt-filod, a'r angelion a weinasant iddo.
Ioan 3, 14 n Yn ol traddodi Ioan, yr Iesu a ddaeth i Galilæa,
Mat.4,12 gan bregethu Efengyl teyrnas Dduw, a dywedyd,
Gal. 4,4 15 o Yr amser a gyflawnwyd, ac y mae teyrnas Dduw
Luc 8,37 yn agos, edifarhewch, a chredwch yr Efengyl.
16 Ac fel yr oedd efe yn rhodio wrth fôr Galilæa,
efe a ganfu Simon, ac Andreas ei frawd, yn bwrw eu
rhwyd yn y môr, (canys pyscodwyr oeddynt):

17 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Canlynwch fi, a
mi a'ch gwnaf yn byscodwyr dynnion.
18 p Ac yn ebrwydd gan adel eu rhwydau y canlyn- pHeb. 1,
asant ef. 18
19 q Ac wedi iddo fyned rhagddo ychydig oddi yno, q1Cor.2,
efe a ganfu Iaco fab Zebedeus, ac Ioan ei frawd, a 27
hwy yn y llong yn cyweirio y rhwydau.
20 r Ac yn y man efe a'u galwodd hwynt, ac hwy a rMat.19,
adawsant eu tad Zebedeus yn y llong, a'r cyflog- 27
ddynion, ac a aethant ar ei ol ef.
21 s Yna'r aethant i Capernaum, ac yn ebrwydd ar sMat. 4,
y dydd Sabboth wedi iddo fyned i mewn i'r Synagog, 13
efe a'u dyscodd [hwynt.]
22 t A rhyfeddu a wnaethant wrth ei athrawiaeth ef, tMat 7,
canys yr oedd efe yn eu dyscu hwynt megis trwy aw- 29
durdod, ac nid fel yr yscrifenyddion. Act. 26,
28
23 u Ac yr oedd gŵr yn eu Synagog hwynt, ac ynddo u Luc 4,
yspryd aflan, yr hwn a lefodd gan ddywedyd, 33
24 v Och, beth sydd i ni [a wnelom] â thi Iesu o Na- vMat. 8,
zareth? a ddaethost ti i'n difetha ni? mi a wn pwy 29
ydwyt ti O Sanct Duw. 1Ioan3,8
Iago 2,19
25 w A'r Iesu a'i ceryddodd ef gan ddywedyd, Taw, wAct.16,
a dos allan o honaw. 18
26 x Yna wedi i'r yspryd aflan ei rwygo ef, a gweiddi xLuc 11,
â llef uchel, efe a ddaeth allan o honaw. 21
27 y Ac fe a aeth ar bawb fraw, fel yr ymofynnasant yAct. 17,
yn eu mysc eu hun, Beth yw hyn? pa athrawiaeth 19
newydd yw hon? pa wedd trwy awdurdod y mae efe Iob 1, 6
yn gorchymyn yr ysprydion aflan, a hwythau yn Mat.8,29
ufuddhau iddo?
28 Ac yn gyflym yr aeth y gair am dano ef tros yr
holl wlad o amgylch Galilæa.
29 z Yna wedi iddynt fyned allan o'r Synagog, yr z Ioan 1,
aethant i dŷ Simon ac Andreas, gyd ag Iaco, ac Ioan. 41
a1Cor. 9
30 a Ac yr ydoedd chwegr Simon yn glâf o'r crŷd, ac 5
yn ebrwydd y dywedasant wrtho am dani hi. Mat.8,14
b Luc 4,
31 b Yna y daeth efe atti hi, ac a'i cododd i fynu gan 39
ymafaelyd yn ei llaw, a'r crŷd a'i gadawodd hi yn y Ioan 5 8,
man, ac hi a wasanaethodd arnynt hwy. 9
32 c Ac wedi iddi hwyrhau, ac i'r haul fachludo, y cMat. 15,
dugasant atto bawb oll a'r a oeddynt gleifion, a'r rhai 23
cythreulig, 1Thes.2,
3
33 d A'r holl ddinas a ymgasclodd wrth y drws. dIoan 14,
6
34 e Ac efe a iachaodd lawer o gleifion o amryw eAct. 16,
18
Sal.112,5

h1Pedr 2 25 h Pan welodd yr Iesu y dyrfa hefyd yn rhedeg
4 yng-hyd, efe a geryddodd yr yspryd aflan gan ddy-
wedyd wrtho, Ty di yspryd mud a byddar, yr wyfi
yn gorchymyn i ti, tyred allan o honaw, ac na ddos
mwy iddo ef.
iDat. 12, 26 i Ac wedi [i'r yspryd] lefain a'i ddryllio ef efe a
12 aeth allan, ac yr oedd efe fel un marw, fel y dywed-
odd llawer ei farw ef.
j Luc 11, 27 j A'r Iesu gan ei gymmeryd ef erbyn ei law, a'i
22 cyfododd, ac efe a safodd i fynu.
k Mat. 10 28 k Ac wedi iddo fyned i mewn i'r tŷ, ei ddiscybl-
1 ion a ofynnasant iddo yn gyfrinachol, Pa ham na all-
em ni ei fwrw ef allan?
l Ioan 5, 29 l Yntef a ddywedodd wrthynt, Y rhyw hwn ni
14 all er dim ddyfod allan, ond trwy weddi, ac ympryd.
m Mat.17 30 m A hwynt a aethant oddiyno, ac a gyd-ymdeith-
22 iasant trwy Galilea, ac ni fynne efe i neb wybod.
n Luc 24 31 n Canys yr oedd efe yn dyscu ei ddiscyblion, ac
25 yn dywedyd wrthynt, Y rhoddid Mab y dyn i ddwy-
Ioan 18, law dynion, a hwynt a'i lladdent ef, ond wedi ei ladd
36 yr adgyfode y trydydd dydd.
a 19, 11
oMat.17, 32 o Eithr ni wyddent hwy yr ymadrodd hwnw, ac
23 ni feiddient ymofyn âg ef.
Luc 9.44
pMat. 18 33 p Ac efe a ddaeth i Capernaum, ac wedi ei ddy-
1 fod i'r tŷ, efe a ofynnodd iddynt, Am ba beth yr
Ioan 2, oeddech yn ymddadle yn eich plith, ar hyd y ffordd?
24
q Act.1.6 34 q Ac hwynt hwy a dawsant a son; canys ar hyd
Luc 9,46 y ffordd yr ymddadleuasent â'i gilydd, pwy o honynt
[fydde] fwyaf.
r1Cor. 9 35 r A phan eisteddodd, efe a alwodd y deuddec, ac
19 a ddywedodd wrthynt, Os myn neb fod yn gyntaf,
efe a fydd olaf, a gwas i bawb.
36 Ac efe a gymmerth fachgennyn, ac a'i gosododd
yn eu canol hwynt, ac wedi iddo ei gymmeryd ef ar
ei fraich, efe a ddywedodd wrthynt,
sMat. 10 37 s Pwy bynag a dderbynio un o'r cyfryw fechgin
40 yn fy enw i sydd yn fy nerbyn i: a phwy bynag a'm
derbyn i, nid myfi y mae yn ei dderbyn onid yr hwn
a'm danfonodd i.
tLuc9.49 38 t Ac Ioan a'i hattebodd ef gan ddywedyd, Athro
Phil.1.18 ni a welsom un yn bwrw allan gythreuliaid yn dy
enw di yr hwn nid yw yn ein dilyn ni, ac ni a wa-
harddasom iddo am nad oedd yn ein dilyn.
u1Cor.12 39 u A'r Iesu a ddywedodd, Na waherddwch ef:
3 canys nid oes neb a wna wrthiau trwy fy enw i, ac a
all yn y fan roi dryg-air i mi.
vMat.12, 40 v Canys y neb nid yw i'n herbyn, o'n tu ni y
30 mae.
w Mat.10 41 w Pwy bynnag a roddo i chwi i'w yfed gwpaneid
42 o ddwfr yn fy enw i am eich bod yn perthyn i Grist,
Ioan 4, 9 yn wir meddaf i chwi, ni chyll efe ei obrwy.
x1Cor. 1, 42 x A phwy bynag a rwystro 'r un o'r rhai bychein
20 a 4, 9 hyn y rhai ydynt yn credu ynofi: gwell oedd iddo
Rhuf.14, osod maen melin o amgylch ei wddf, a'i daflu i'r mor.
1
y Mat. 5 43 y Am hynny os dy law a'th rwystra, tor hi ymaith,
29 gwell yw i ti fyned i mewn i'r bywyd yn unllawiog,
Col. 3, 5 na myned i uffern â dwy law i'r tân anniffoddadwy,
zEsa. 66, 44 z Lle ni bydd marw eu pryf hwynt, ac ni ddiffydd
24 y tân.
Rhuf.2,9
6 45 Ac os dy droed a'th rwystra, tor ef ymmaith:
gwell yw i ti fyned yn gloff i'r bywyd, nag â dau
droed dy daflu i uffern, i'r tân anniffoddadwy,
46 Lle ni bydd marw eu pryf hwynt, ac ni ddiffydd
y tân.
47 Ac os dy lygad a'th rwystra, bwrw ef ymaith,
gwell yw i ti fyned i deyrnas Dduw yn un llygeidiog,
nag â dau lygad genyt, dy daflu i dân uffern,
48 Lle ni bydd marw eu pryf hwynt, ac ni ddiffydd
y tân.
49 a Canys pawb a helldir â thân, a phob aberth a aMat. 3,
helltir â halen. 11
Lev.23,39
50 b Da yw halen: ond os bydd yr halen yn ddiflas, 1Pedr 1,
â pha beth yr helltir ef? Bydded i chwi halen ynoch 7
bMat. 5,
eich hunain, a byddwch heddychlawn â'i gylydd. 13
Col. 4. 6

## PEN. X.

Heb. 12,
14
*Crist yn atteb y Pharisæaid am ysgar, 13 Yn derbyn plant,* Salm133,
*yn ateb y goludog am etifeddu teyrnas nef, 28 Ai ddis-* 1
*cyblion hefyd, 33 I ba rai y mae yn prophwydo am ei*
*ddioddefaint. 35 Yn atteb meibion Zebedeus. 46 Ac yn*
*rhoi ei olwg i Bartimæus.*

AC c efe a gyfododd oddi yno, ac a aeth i dueddau cMat. 19
Judæa trwy 'r tu hwnt i'r Iorddonen, a'r dyrfa 1
Luc 4,16
a dynodd trachefn atto: ac yntef fel yr arfere a'u
dysgodd hwynt trachefn.
2 d Yna y daeth y Pharisæaid, ac a ofynnasant iddo: dMat.16
1
A oedd rydd i ŵr roddi ymmaith ei wraig, gan ei a 22, 15
demtio ef.
3 e Yntef a attebodd gan ddywedyd wrthynt, Beth e Esa. 8,
20
a orchymynnodd Moses i chwi? Ioan5,39
4 f A hwynt hwy a ddywedasant, Moses a ganiataodd f Mat 19,
3
roi llythyr ysgar, a'i gollwng hi ymaith.
5 g Yna'r attebodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrthynt, gEzec 2,
4
O achos caledrwydd eich calonnau yr 'sgrifenodd efe
Act. 7,44
i chwi y gorchymyn hwnnw:
6 h O ddechreuad y creadigaeth, yn wryw a benyw hMal.2.5
y gwnaeth Duw hwynt. Gen. 1.
27 a 2, 7
7 i Am hynny y gad dyn ei dad a'i fam, ac y glŷn iDiar.5,3
wrth ei wraig: a 18, 20
8 A hwynt ill dau fyddant un cnawd, ac felly nid
ynt mwy ddau, ond un cnawd.
9 Am hynny y peth a gydiodd Duw, na wahaned
dyn.
10 Ac yn tŷ trachefn y gofynnodd ei ddisgyblion
iddo am yr un peth.
11 j Ac efe a ddywedodd wrthynt: Pwy bynnag a j Mat. 5,
32
ddyru ymaith ei wraig, ac a brioda un arall, y mae yn a 19, 9
torri priodas â hi.
12 Ac os gwraig a ddyru ymmaith ei gŵr, a phriodi
un arall, y mae hi yn torri priodas.
13 k Ac hwy a ddugasant blant atto, fel y cyffyrdde kLuc 18
15
efe â hwynt: a'r discyblion a geryddent y rhai a'u 2Bren. 4
dygase hwynt. 27
14 l A'r Iesu pan welodd hynny fu anfodlon, ac a lLuc18,16
ddywedodd wrthynt, Gadewch i blant ddyfod attafi,
ac na waherddwch hwynt: canys i'r cyfryw y perthyn
teyrnas nefoedd.
15 m Yn wir meddaf i chwi, pwy bynag ni dderbynio m 1Pedr
deyrnas Dduw fel plentyn nid aiff i mewn iddi. 2, 2
Iago1,21
16 n Ac efe a'u cofleidiodd hwynt, ac a roddes [ei] nLuc 18,
ddwylo arnynt, ac a'u bendithiodd. 17
17 o Ac wedi iddo fyned i'r ffordd, y rhedodd un ac a 24, 50
oRhuf.10
a ostyngodd iddo, ac a ofynodd iddo, O Athro 3
da, beth a wnafi i gael meddiannu bywyd tragywyddol?
13 p Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Pa ham y gelwi pSal.119
fi yn dda, nid oes neb da ond un sef Duw. 68
19 q Ti a wyddost y gorchymynnion, Na odineba, Mat. 19.
17
Na ladd, Na ledrata, Na cham destiolaetha, Na wna q Col. 4,
16
niwed: Anrhydedda dy dad a'th fam. Eph. 6.4
20 r Yntef a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Athro, r1Tim.1 16
hyn oll a gedwais o'm hieuengtid.

s Gal 6.14, 1 Tim. 6, 17, Diar. 19, 17 — 21 s Yr Iesu gan edrych arno a'i hoffodd, ac a ddywedodd wrtho, Un peth sydd ddiffygiol i ti: dos a gwerth yr eiddot oll, a dod i'r tlodion, a thi a gei drysor yn y nef, a thyret i'm dilyn i, a dwg dy groes.

t Mat. 13, 22, Phil. 3, 18 — 22 t Eithr efe a dristaodd wrth yr ymadrodd hwn, ac a aeth ymaith yn athrist: canys yr oedd ganddo gyfoeth mawr.

u 1 Cor. 1, 26, 1 Tim. 6, 17, Iago 5, 1 — 23 u A'r Iesu wedi edrych o'i amgylch, a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Mor anhawdd yr aiff y rhai y mae golud ganddynt i deyrnas Dduw?

v Sal. 52, 7 a 62, 11, 1 Tim. 6, 17 — 24 v A'r discyblion a ofnasant wrth ei eiriau ef: a'r Iesu a attebodd drachefn, ac a ddywedodd wrthynt: Fy mhlant: mor anhawdd yw i'r rhai sy a'u hymddyriled yn eu golud, fyned i deyrnas Dduw?

* Rhaff angor, mewn rhai copiau — 25 Y mae yn haws i * gamel fyned trwy grau nodwydd, nag i oludog fyned i deyrnas Dduw.

Ier. 13, 23 — 26 A hwynteu a aruthrasant fwy-fwy, gan ddywedyd wrthynt eu hunain, Pwy gan hynny a all fod yn gadwedig?

w 2 Bren. 7, 2, Luc 4, 22 — 27 w A'r Iesu a edrychodd arnynt, ac a ddywedodd, Gyd â dynion amhosibl yw: ac nid gyd â Duw: canys pob peth sydd bossibl gyd â Duw.

x Mat. 1, 37 — 28 x Yna y dechreuodd Petr ddywedyd wrtho, Wele nyni a adawsom bob peth, ac a'th ddilynasom di.

y Luc 18, 29, Mat. 5, 11 — 29 y Yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, nid oes neb a'r adawodd dŷ, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd o'm hachos i a'r Efengyl,

z 1 Tim. 6, 6, Salm 37, 16, Iob 42, 10 — 30 z A'r ni dderbyn y canfed: yr awran yn y pryd hwn, dai, a brodyr, a chwiorydd, a mammau, a phlant, a thiroedd, gyd âg erlid, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.

a Mat. 20, 1, 20 — 31 a Llawer rhai cyntaf a fyddant ddiweddaf a'r diweddaf [fyddant] cyntaf.

b Salm 40, 12, 1 Pedr 2, 21, Ioan 11, 8 — 32 b Ac yr oeddynt ar y ffordd yn myned i fynu i Ierusalem, ac yr oedd yr Iesu yn myned oi blaen hwynt, a dychrynu a wnaethant, ac ofni yn canlyn. Ac wedi iddo trachefn gymmeryd y deuddec, efe a ddechreuodd fynegu iddynt y pethau a ddigwyddent iddo ef.

c Mat. 20, 18, Ioan 13, 32, Act. 2, 36 — 33 c Canys, wele, yr ydym ni yn myned i fynu i Ierusalem, a Mâb y dŷn a draddodir i'r arch-offeiriaid a'r scrifennyddion, a hwynt a'i barnant ef i farwolaeth, ac a'i rhoddant ef i'r cenhedloedd,

d Esa. 53, 3, Salm 22, 7 — 34 d Y rhai a'i gwatwarant ef, ac a'i ffangellant, ac â boerant arno, ac a'i lladdant ef: a'r trydydd dydd yr adgyfyd.

e Mat. 20, 20 — 35 e Yna y daeth atto Iaco, ac Ioan meibion Zebedæus, gan ddywedyd, Athro ni a fynnem wneuthur o honot i ni yr hyn a ddymunem ni.

36 Yntef a ddywedodd wrthynt: Beth a fynnech i mi ei wneuthur i chwi?

f Mat 19, 28 a 18 1, 2 Pedr 1, 11 — 37 f Hwythau a ddywedasant wrtho, Caniadhâ i ni, eistedd, un ar dy ddeheu-law, a'r llall ar dy asswy yn dy ogoniant.

Luc 9, 12, g Ioan 18, 11 — 38 g A'r Iesu a ddywedodd wrthynt: Ni wyddoch pa beth yr ydych yn ei ofyn, a ellwch chwi yfed o'r cwppan yr wyfi yn ei yfed, a'ch bedyddio â'r bedydd yr hwn i'm bedyddir i âg ef?

h Act. 12, 2, Dat. 1 9 — 39 h A hwynt a ddywedasant wrtho, Gallwn, a'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Diau yr yfwch o'r cwppan yr yfwyf: ac i'ch bedyddir o'r un bedydd â'r hwn y bedyddir finef:

i Mat 25, 34, Dat 3, 21 — 40 i Ond eistedd ar fy neheu-law, a'm hasswy, nid eiddofi yw rhoddi: eithr i'r rhai y darparwyd.

41 j A phan glybu 'r dêc y pethau hyn, deohreuasant ddiystyru Iaco, ac Ioan. — j Mat. 20, 24

42 k A'r Iesu wedi eu galw hwynt a ddywedodd wrthynt, Chwi a wyddoch fod y rhai a dybir eu bod yn tra-llywodraethu ym mhlith y cenhedloedd, yn arglwyddiaethu arnynt: a'r sawl sydd benaethiaid yn eu mysc hwynt yn ymawdurdodi arnynt. — k Luc 22, 25, Dat. 13, 16, 17

43 l Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi: ond pwy bynnag a ewyllyssio fod yn fawr yn eich plith, bydded weinidog i chwi. — l 1 Pedr 5, 1, 2 Cor. 5, 4, 5

44 m A phwy bynnag o honoch a fynno fod yn benaf, bydded was i bawb. — m 1 Cor. 9, 19, 1 Pedr 5, 3

45 n Canys ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roi ei enioes yn bridwerth tros lawer. — n 1 Tim. 2, 6, Tit. 2, 14, 2 Cor. 5, 21

46 o Yna y daethant i Iericho, ac efe yn myned allan o Iericho, gyd â'i ddiscyblion, a thyrfa fawr, Bartimæus mab Timæus, [un] dall a oedd yn eistedd ar fin y ffordd yn cardotta. — o Act. 3, 2, Mat. 20, 29

47 p A phan glybu, mai efe oedd yr Iesu o Nazareth, efe a ddechreuodd lefain, a dywedyd, Iesu fab Dafydd trugarha wrthif. — p Mat. 9, 27, Rhuf. 1, 3

48 q A llawer a'i ceryddasant ef i geisio ganddo dewi, eithr efe a lefodd fwy fwy, Mab Dafydd trugarha wrthif. — q Mat. 19, 13

49 r Yna yr Iesu a safodd, ac a archodd ei alw ef: ac hwynt a alwasant y dall gan ddywedyd wrtho, Cymmer galon, cyfot, y mae efe yn dy alw di. — r Sal. 65, 2 a 50, 15

50 s Yntef a daflodd ei gochl ymmaith, ac a gododd, ac a ddaeth at yr Iesu. — s Heb. 2, 1

51 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Beth a fynnit i mi ei wneuthur i ti? a'r dall a ddywedodd wrtho, O Arglwydd caffael fyng-olwg.

52 t A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Dos ymaith, dy ffydd a'th iachaodd: ac yn y man y cafodd efe ei olwg ac efe a ddilynodd yr Iesu ar hyd y ffordd. — t Marc 5, 2, 3 a 18, 43

## PEN. XI.

*Crist yn marchogaeth i Ierusalem. 14. Yn melldithio y ffigus-bren. 15. Yn bwrw y prynwyr a'r gwerthwyr o'r deml. 22. Yn annog i gredu a maddeu. 27. Ac yn gofyn o ba le yr oedd bedydd Ioan.*

AC u wedi eu dyfod yn agos i Jerusalem i Bethphage a Bethania hyd fynydd yr Olewydd, efe a anfones ddau o'i ddiscyblion, — u Mat 21, 1, Luc 19, 29

2 Ac a ddywedodd wrthynt, Ewch ymmaith i'r dref yr hon sydd gyferbyn â chwi: ac er cynted y deloch yno, chwi a gewch ebol wedi ei rwymo, (ar yr hwn nid eisteddodd neb) gollyngwch a dygwch ef. — Mat. 11, 2

3 v Ac os dywed neb wrthych, Pa ham y gwnewch hynny? dywedwch, Am fod yn rhaid i'r Arglwydd wrtho ef: ac heb oludd efe a'i denfyn ymma. — v Luc 24, 25, 26, Phil. 4, 8, 1 Thes. 5, 22

4 Ac hwy a aethant ymmaith, ac a gawsant yr ebol yn rhwym wrth y drws oddi allan, mewn croes-ffordd, ac a'i gollyngasent ef.

5 A rhai o'r rhai oeddynt yn sefyll yno a ddywedasant wrthynt, Beth a wnewch chwi yn gollwng yr ebol yn rhydd?

6 Hwythau a ddywedasant fel y gorchymynase yr Iesu iddynt, ac yna y gollyngasant hwynt ymmaith.

7 w Ac hwy a ddaethant â'r ebol at yr Iesu, ac a fwriasant eu dillad arno ac efe a eisteddodd arno. — w Mat. 21, 1, 2

8 x A llawer a danasant eu dillad ar hyd y ffordd, eraill a dorrasant gangeu o'r prenni, ac a'u tanasant ar y ffordd. — x 2 Bren. 9, 13, Ioan 12, 13

9 A'r rhai oeddent yn myned o'r blaen a'r rhai oeddent yn dyfod o'r ol a lefasant gan ddywedyd,

Hosanna, bendigedig [fyddo] 'r hwn sydd yn dyfod yn
enw'r Arglwydd.
Luc 2.14 Zec. 4, 7 10 y Bendigaid [fyddo] teyrnas ein tad Dafydd, yr
Luc 1,32 hon a ddaw yn enw 'r Arglwydd, Hosanna yn y gor-
Salm 2 6 uchelder.
z Mat. 21, 11 z A'r Iesu a aeth i mewn i Ierusalem, ac i'r Deml,
11 ac wedi iddo edrych ar bob peth o'i amgylch (a hi yr
Dat. 2,2, awran yn hwyr) efe a aeth allan i Bethania gyd â'r
deuddec.
a Mat. 4, 12 a A thrannoeth wedi iddynt ddyfod o Bethania
2 Heb. 4.15 yr oedd arno chwant bwyd:
b Mat. 15, 13 b Ac wedi iddo ganfod o hirbell ffigusbren, ac arno
2 Tim 3,5 ddail, efe a aeth [i edrych] a gaffe ddim arno: a phan
ddaeth atto, ni chafodd efe ddim ond dail, am nad
oedd amser ffigus.
c Luc 19, 14 c Yna'r Iesu gan atteb a ddywedodd wrth y ffig-
42 Heb. 12, usbren: O hyn allan na fwyttaed neb o honot ffrwyth
17 yn dragywydd, a'i ddiscyblion ef a glywsant.
d Mat. 21, 15 d A hwynt a ddaethant i Ierusalem: ac Iesu wedi
12 myned i'r Deml, a ddechreuodd daflu allan y rhai a
Ioan 2.15 werthent, ac a brynent yn y Deml, ac a ymchwelodd
1 Tim. 6, dresseleu'r arianwyr, a chadeirieu'r gwerthwyr colom-
10 Luc 20, mennod.
47 Act 19 25 16 Ac ni adawe efe i neb ddwyn llestr drwy'r Deml.
1 Bren 12 17 Ac efe a'u dyscodd hwynt gan ddywedyd wrth-
2 ynt: Onid yw yn scrifenedic, y gelwir fy nhŷ mau fi,
yn dŷ gweddi i bob cenhedlaeth? a chwi a'i gwnaeth-
och ef yn ogof lladron.
e Mat 12 18 e A'r scrifennyddion a'r arch-offeiriaid a glywsant
14 hyn, ac a geisiasant fodd i'w ddifetha ef: canys
Ioan 7, 48 oeddynt yn ei ofni ef am fod yr holl dyrfa yn rhyfeddu
Mat 14,5 o blegid ei athrawiaeth ef.
19 A phan aeth hi yn hwyr, efe a aeth allan o'r ddin-
as.
f Sal 46,8 20 f A'r boreu wrth fyned heibio, gwelsant y ffigus-
a 111. 2 bren wedi crino o'r gwraidd.
21 Yna'r argofiodd Petr, ac efe a ddywedodd wrtho,
Athro, wele'r ffigusbren a felltithiaist wedi crino.
g Rhuf 4, 22 g A'r Iesu a atebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
20 Bydded gennych ffydd ar Dduw.
h Iago 1,6 23 h Canys yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, mai
Heb 11,6 pwy bynnag a ddywedo wrth y mynydd hwn: Tyn-
ner di ymmaith, a bwrier di i'r mor: ac nid amheuo
yn ei galon, ond credu y daw i ben y pethau a ddy-
wedo efe, beth bynnag a archo a fydd iddo.
i Ioan 5, 24 i Am hynny meddaf i chwi, Beth bynnag oll a
geisiwch wrth weddio, credwch y derbyniwch, ac fe
Mat 7 7 fydd i chwi.
Ier 15, 1 25 j A phan safoch ar weddio, maddeuwch o bydd
Job 30,20 gennych ddim yn erbyn neb, fel y maddeno eich Tad
Mat 6 14 yr hwn sydd yn y nefoedd i chwithau eich camwedd-
au.
Mat 18 26 k Ac oni faddeuwch chwi: eich Tad yr hwn
sydd yn y nefoedd ni faddeu i chwithau eich cam-
Iago 2,13 weddau.
Mat 21, 27 l Yna y daethant trachefn i Ierusalem, ac fel yr
3 oedd efe yn rhodio yn y Deml, yr arch-offeiriaid a'r
scrifennyddion a'r henuriaid a ddaethant atto,
Ioan 10 28 m Ac a ddywedasant wrtho: trwy ba awdurdod
yr ydwyt yn gwneuthur y pethau hyn? a phwy a
Heb 5 4 roddes i ti yr awdurdod hon i wneuthur y pethau
Mat 10, hyn?
29 n Yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt:
Salm 112, minef a ofynaf i chwithau un gair: attebwch fi, a
dywedaf i chwi trwy ba awdurdod yr wyf yn gwneuth-
ur y pethau hyn;
30 o Bedydd Ioan ai o'r nef yr oedd, ai o ddynion? o Act 19,3
attebwch fi.
31 p Ac ymresymmu a wnaethant ynddynt eu hun- p Mat 16,
ain gan ddywedyd, Os dywedwn o'r nef, efe a ddy- 7. a 11,18
wed, Pa ham gan hynny na chredech iddo.
32 q Eithr os dywedwn, O ddynion, y mae arnom q Luc 20,
ofn y bobl: canys pawb oll a gymmerent Ioan yn wir 6
brophwyd.
33 r Yna yr attebasant gan ddywedyd wrth yr Iesu, r Salm 9,
Ni wyddom ni, a'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd 16
wrthynt hwythau, Ni ddywedaf fine i chwithau trwy Iob 5, 13
ba awdurdod yr wyf yn gwneuthur y pethau hyn.

## PEN. XII.

*Crist wrth ddammeg y win-llan yn dangos gwrthodiad y cenhedloedd. 14 Yn atteb yn rhagorol am y deyrn-ged. 18 Am yr adgyfodiad. 29 Ac am y gorchymyn cyntaf. 35 Yn gofyn pa ham y gelwid Crist yn fab i Ddafydd, ac yn erchi gochelyd rhagrith yr scrifenyddion. 43 Ac yn canmol offrwm y weddw dlawd.*

AC s efe a ddechreuodd ddywedyd wrthynt ar s Mat 21
ddamhegion: Gŵr a blannodd winllan, ac a roes 33
gae o'i hamgylch, ac a gloddiodd lynn, ac a adailad- Ezec 3,17
odd dŵr, ac a'i llogodd hi i lafurwŷr, ac a aeth ym Hab 2 1
mhell o'i wlad,
2 t Ac a anfonodd ei wâs mewn amser at y llafur-wŷr t Salm 1 3
fel y derbynie gan y llafur-wŷr o ffrwyth y win-llan. Esa 5 4
3 u A hwynt a'i daliasant ef, ac a'i baeddasant, ac a'i u 1 Cor 11
troesant ymmaith yn wag-law. 25
4 A thrachefn yr anfonodd efe attynt wâs arall, a
hwnnw wedi iddynt ei labuddio, a rhoddi briw pen
iddo, a anfonasant mewn ammarch.
5 v A thrachefn yr anfonodd efe un arall, a hwnnw v 2 Cor 21
a laddasant, a llawer eraill: gan faeddu rhai, a lladd 21
y lleill. Luc 13,34
6 w Ym mhellach pan oedd iddo etto un mab annwyl, w Ioan 3
efe a ddanfonodd hwnnw attynt, yn ddiweddaf, gan 16
ddywedyd, Hwynt hwy a barchant fy mab i. Mat 3 17 Sal 2 12
7 x Ond y llafur-wŷr hynny a ddywedasant yn eu x Heb 1 2
plith eu hunein, Hwn yw 'r etifedd, deuwch lladdwn Ioan 12
ef, a'r etifeddiaeth fydd eiddom ni. 42 Rhuf 2 15
8 y Yna y cymmerasant ef, ac a'i lladdasant, ac a'i y Heb 13,
bwriasant allan o'r win-llan. 12 Mat 21 39
9 z Beth gan hynny a wna arglwydd y win-llan? efe z Mat. 8,
a ddaw, ac a ddifetha 'r llafur-wŷr, ac a rydd y win- 11 Rhuf 11
llan i eraill. 19, 20
10 a Oni ddarllenasoch yr Scrythr hon: Y maen yr a Mat 21.41 Salm
hwn a wrthododd yr adeilad-wŷr, a wnaethpwyd yn 118, 22
ben y gongl? 1 Pedr 8,
11 b Hyn a wnaethpwyd gan yr Arglwydd, a rhyf- 7, 8
edd yw yn ein golwg ni. b 1 Tim 3 16
12 c A hwynt a gaisiasant ei ddala ef, ac yr oedd 1 Pedr 3 12
arnynt ofn y dyrfa: canys gwyddent mai yn eu her- c Rhuf 2
byn hwynt y dywedase efe y ddammeg honno: ac 15 2 Tim 4,3
hwynt hwy a'i gadawsant ef, ac a aethant ymmaith.
13 d A hwynt a anfonasant atto rai o'r Pharisæaid, ac d Hab 1 15
o'r Herodiaid, fel y rhwydent ef yn [ei] ymadrodd. Ier. 18,18
14 Y rhai pan ddaethant a ddywedasant wrtho, Yr
Athro, ni a wyddom dy fod yn air-wir, ac nad gwaeth
gennit ti am nêb, ac nad wyt yn edrych yn wyneb
dynion, a'th fod yn dyscu ffordd Duw mewn gwirion-
edd: ai iawn rhoi teyrn-ged i Cæsar ai nid yw? a
roddwn ai ni roddwn [hi?]

eMat 9 4 15 e Ond efe gan wybod eu rhagrith hwynt, a ddy-
Ioan 24 wedodd wrthynt, Pa ham y temptiwch fi? dygwch i
Heb 4 13 mi geiniog, fel y gwelwyf [hi].
16 A hwynt a ddygasant, ac efe a ddywedodd wrth-
ynt, Pwy pieu'r ddelw hon a'r orgraph? a hwynt hwy
a ddywedasant, Cæsar.
fRhuf 13 17 f A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
7 Rhoddwch yr eiddo Cæsar i Cæsar, a'r eiddo Duw i
Dduw: a rhyfeddu a wnaethant o'i blegit.
gMat 37 18 g Daeth y Saducæaid hefyd atto (y rhai a ddy-
wedant nad oes adgyfodiad) a gofynnasant iddo gan
ddywedyd,
19 Athro, Moses a scrifennodd i ni: o bydd marw
brawd neb, a gadu [ei] wraig, ac heb adu plant: cym-
mered ei frawd ei wraig ef, a chodedd had iw frawd.
20 Yr oedd saith o frodyr, y cyntaf a gymmerth
wraig, a phan fu farw ni adawodd had.
21 A'r ail a'i cymmerth hi ac a fu farw, ac ni adaw-
odd yntef hâd: a'r trydydd yr un modd.
22 Ac hwy a'i cymmerasant hi eill saith, ac ni adaw-
sant hâd, yn ddiweddaf oll y bu farw 'r wraig.
23 Yn yr adgyfodiad gan hynny, pan adgyfodant,
gwraig i bwy o honynt fydd hi? canys y saith a'i
cawsant hi yn wraig.
24 h Yna yr attebodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrth-
hHos 4,6 ynt, Ond am hyn yr ydych yn cyfeiliorni, am nad yd-
ych yn gŵybod yr scrythurau, na gallu Duw.
i 1Cor 7, 25 i Canys wedi iddynt adgyfodi o feirw, ni wreighânt
38 ac ni ŵrhânt, eithr y maent fel yr angelion y rhai yd-
ynt yn y nefoedd.
j Mat 12, 26 j Am y meirw, [sef] yr adgyfodir hwynt trachefn:
5 oni ddarllenasoch chwi yn llyfr Moses, y modd y
Eph 6,17 llefarodd Duw wrtho yn y berth gan ddywedyd, Myfi
yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Iacob?
kMat 22 27 k Nid yw efe Ddow 'r meirw, ond Duw y rhai
32 byw: am hynny eich mawr dwyllir chwi.
Heb11 16
lMat 22, 28 l Yna y daeth un o'r sgrifennyddion, yr hwn a'i
35 clywse hwynt yn ymddadleu, [ac] a wyddiad atteb o
honaw iddynt yn gymmwys, ac a ofynodd iddo Beth
oedd y gorchymyn cyntaf o'r cwbl.
mEph 4 29 m Yr Iesu a attebodd iddo, Mai'r gorchymyn
5 cyntaf [yw,] Clyw Israel, yr Arglwydd ein Duw un
Arglwydd yw.
nLuc 10, 30 n Tithe a geri yr Arglwydd dy Dduw, â'th holl
27 galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl, ac â'th
holl nerth, hwn yw'r gorchymyn cyntaf.
31 o A'r ail [sydd] gyffelyb iddo yntef: Ceri dy gym-
oRhuf15, mydog fel ti dy hun, nid oes orchymyn arall mwy na'r
9 rhai hyn.
32 Yna y dywedodd yr scrifennudd wrtho, Da
athro, mewn gwirionedd y dywedaist, Mai un Duw
sydd, ac nad oes neb arall ond efe.
33 p Ai garu ef â'r holl galon, ac â'r holl ddeall, ac
pHos 6 6, â'r holl enaid, ac â'r holl nerth: a charu [ei] gymydog
7
Ier 7 22 megis ei hun, sydd fwy na holl boeth offrymau, ac
aberthau
q Mat 23 34 q Yna'r Iesu yn ei weled ef yn atteb yn synhwyrol
3
1Cor 15,1 a ddywedodd wrtho, Nid wyt ti bell oddiwrth deyrn-
2
Gal 3, 19 as Dduw, ac ni feiddiodd neb mwy ymofyn âg ef.
rMat 22, 35 r A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd, wrth ddyscu
41
s 2 Pedr. yn y deml, Pa fodd y dywed yr scrifennyddion fod
1 21 Crist yn fab Dafydd?
Act 10,33 36 s Canys Dafydd ei hun a ddywedodd trwy 'r Ys-
1 Thes 2
13 pryd Glân: yr Arglwydd a ddywedodd wrth fy Ar-

glwydd, Eistedd ar fy neheulaw hyd oni roddwyf dy
elynion yn droedfainge i ti.
37 t Am hynny, a Dafydd yn ei alw ef yn Arglwydd, t Mat 13
pa fodd y mae efe yn fab iddo? a llawer o bobl a'i 20
gwrandawent ef yn ewyllyscar. Ioan 5,35
38 u Ac efe a ddywedodd wrthynt yn ei ddysceidiaeth, u Mat 23
Ymogelwch rhag yr scrifennyddion y rhai a fynnant 5
fyned mewn gwiscoedd lleision, a chael cyfarch yn y Phil 3 2
marchnadoedd,
39 v A'r eisteddfeudd cyntaf yn y cymmanfaoedd, a'r vLuc 11 7
eisteddleoedd cyntaf mewn swpperau.
40 w Y rhai sy yn llyngcu tai gwragedd gweddwon, a wMat 23
[hynny] yn rhith hir weddio: y rhai hyn a dderbyn- 14
iant farnedigaeth fwy.
41 x A phan eisteddodd yr Iesu, gyferbyn a'r trys- xDan 1
sor dŷ, efe a edrychodd pa fodd yr oedd y bobl yn
bwrw arian i'r tryssor dŷ: a chyfoethogion lawer a
fwriasant lawer.
42 y A phan ddaeth rhyw wraig weddw dlawd, [a] y Luc 21,
bwrw i mewn ddwy hatling, yr hyn yw ffyrling. 2
43 Yna wedi iddo alw ei ddiscyblion, efe a ddywed-
odd wrthynt, Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, fwrw
o'r wraig weddw dlawd hon fwy i mewn, na 'r rhai
oll a fwriasant i'r tryssor-dŷ.
44 z Canys hwynt hwy oll a fwriasant o'u hamldra, z 2Cor 8 2
hithe o'i phrinder a fwriodd i mewn yr hyn oll a fedde a 9, 7
hi, nid amgen cwbl a'r oedd iddi i fyw.

PEN. XIII.

*Crist yn dangos y difethid Ierusalem, 9 yr erlidid y ffydd-loniaid, 22 y daue gau athrawon, 24 pa arwyddion fyddant o flaen dydd farn, 32 na wyr neb yr awr, 35 ac y dylem ni am hynny wilied bob amser.*

AC a fel yr aeth efe allan o'r Deml y dywedodd un a Luc 21,
o'i ddiscyblion wrtho, Athraw, edrych pa ryw 5
feini a pha fath adeilad [yw hon.]
2 b A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, A bLuc 19,
weli di yr adeilad fawr yma? ni edir maen ar faen a'r 44
ni's gwascerir. Ier 5, 10
3 Ac fel yr oedd efe yn eistedd ar fynydd Olewydd, cMat 26,
gyferbyn a'r Deml, Petr, ac Iaco, ac Ioan, ac An- 61
dreas a ofynnasant iddo yn ddirgel,
4 d Dywet i ni, pa bryd y bydd y pethau hyn? a pha d Mat 23
arwydd fydd pan orphenner y pethau hyn oll? 38
5 e A'r Iesu a attebodd iddynt, ac a ddechreuodd e1Tim 4
ddywedyd, Edrychwch rhag twyllo o neb chwi: 1
6 f Canys llawer a ddeuant yn fy enw i, gan ddy- fActs 36
wedyd, Myfi yw [Crist:] ac a dwyllant lawer.
7 g Pan glywoch hefyd am ryfeloedd a son am ryfel- gSalm 46
oedd, nac ofnwch: canys rhaid i hynny fod, ac etto 2, 3
ni [bydd] y diwedd. Rhuf 8,
28
8 h Canys cenedl a gyfyd yn erbyn cenedl, a theyrn Esa 8, 12
as yn erbyn teyrnas, a daiar grynfâu fyddant mewn h Act 11
amryw leoedd, a drudaniaeth a thrallod fyddant. 28
9 i Dechreuad blinder yw hyn: eithr disgwyliwch iMat. 10,
chwi arnoch eich hunain: canys hwynt hwy a'ch 17
traddodant i'r cyngor, ac i'r synagogau, chwi a faedd-
ir, ac a ddygir ger bron rhaglawiaid a brenhinoedd
o'm bachos i, er testiolaeth iddynt hwy.
10 j Ac y mae yn rhaid yn gyntaf pregethu 'r Efeng- j Mat 26,
yl ym mysc pob cenhedlaeth. 13
11 k Pan ddygant chwi a'ch traddodi, na ragofelwch, k Luc 21,
ac na ragfyfyriwch beth a ddywetoch eithr pa beth 14
bynnac a rodder i chwi yn yr awr honno, hynny dy-
wedwch: canys nid chwychwi sy yn dywedyd, onid

yr Yspryd Glan.
l Mat. 10, 12 l A'r brawd a ddyru 'r brawd i farwolaeth, a'r
21 tad y mab, a'r plant a gyfodant yn erbyn eu rhieni,
ac a barant eu rhoi i'w marwolaeth.
m Phil. 2, 13 m A chwi a fyddwch gas gan bawb er mwyn fy
21 Sal. 63, 3, enw i: eithr y neb a barhao hyd y diwedd fydd cad-
4, 7 wedig.
Luc 21, 17 14 Pan weloch chwi y ffieidd-dra anrheithiol, yr
hwn a ddywedpwyd gan Ddaniel y prophwyd, wedi
ei osod lle ni's dylid (y neb a ddarlleno dealled) yna
y rhai fyddant yn Iudæa ciliant i'r mynyddoedd.
n Luc 21, 15 n A'r neb fyddo ar ben y tŷ na ddescynned i'r tŷ,
21 ac nac aed i mewn i gymmeryd dim o'i dŷ.
1 Tim. 6, 16 A'r neb a fyddo yn y maes na throed trach ei
17 Mat. 6, 19 gefn yn ei ol, i gymmeryd ei wisc.
a 24, 18 o Luc 21, 17 o Gwae y rhai fyddant beichiogion a'r mamaeth-
29 od yn y dyddiau hynny.
18 Gweddiwch na byddo eich ffoedigaeth yn y
gaiaf.
19 Canys y dyddiau hynny a fyddant [y fath] orth-
rymder na bu'r cyfryw o ddechreuad y creaduriaid a
greodd Duw hyd y pryd hwn, ac ni bydd.
20 Ac oni bydde i'r Arglwydd fyrhau 'r dyddiau
hynny, pob cnawd a gyfrgollid: eithr er mwyn ei
etholedigion y rhai a etholodd efe, y byrhaodd efe y
dyddiau hynny.
p 2 Thes. 21 p Ac yna os dywed neb wrthych, Wele Crist
2, 1, 2 ymma, neu wele accw, na chredwch.
q 1 Thes. 22 q Canys gau gristiau, a gau brophwydi a gyfodant,
2, 9 Dat. 13, ac a ddangosant arwyddion a rhyfeddodau i dwyllo
13 ie pe gellid yr etholedigion.
r Ioan 16, 23 r Eithr ymogelwch chwi, wele dywedais i chwi'r
1 cwbl oll.
s 2 Thes. 2 24 s A hefyd yn y dyddiau hynny wedi'r gorthrym-
1, 2 Dat. 11, 2 der hwnw y tywylla'r haul, a'r lloer ni rydd ei go-
leuni.
t Heb. 12, 25 t A ser y nef a syrthiant, a'r nerthoedd y rhai
26, 27 ydynt yn y nefoedd a symmudir.
u Dat. 1. 26 u Ac yna y gwelant Fab y dyn yn dyfod yn y
7 cymylau, â gallu mawr a gogoniant.
Act. 1, 9 27 v Ac yna yr enfyn efe ei angelion, ac y cynnull
v 1 Cor. ei etholedigion oddiwrth y pedwar gwynt, o eithaf-
15 51, 52 1 Thes. 4, oedd y ddaiar hyd eithafoedd y nef.
16 Heb. 1, 6 28 Gan y ffigus-bren dysgwch gyffelybiaeth: pan
fyddo ei gangeu ef yn dyner, ac yn blaguro dail,
chwi a wyddoch fod yr hâf yn agos:
29 Felly chwithau, pan weloch y pethau hyn wedi
dyfod, gwybyddwch fod [teyrnas Dduw] yn agos wrth
y drws.
30 Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi nad aiff yr
oes hon heibio, hyd oni wneler y pethau hyn oll.
w 1 Pedr 31 w Nef a daiar a ânt heibio, ond fyng-eiriau maufi
, 25 nid ânt heibio.
x Luc 2, 32 x Eithr am y dydd hwnnw a'r awr, ni ŵyr neb,
2 na'r angelion y rhai ydynt yn y nef, na'r Mab, ond
Ioan 21, 7 y Tad.
Dat. 5, 5, 33 y Ymogelwch, gwiliwch a gweddiwch, canys ni
ŵyddoch pa bryd y bydd yr amser.
Mat 24, 34 z [Canys Mab y dyn sydd] fel gwr yn ymdaith i
2 Luc 12, bell, ac yn gadel ei dŷ, ac yn rhoi awdurdod i'w
3 Pedr 4, weision, ac i bob un ei waith, ac yn gorchymyn i'r
porthor wilio.
Mat. 16, 35 a Gwiliwch am hynny (gan na ŵyddoch pa bryd
8 Heb. 3, 6 y daw meistr y tŷ, yn yr hŵyr, ai hanner nos, ai ar
ganiad y ceiliog, ai 'r boreu-ddydd.

36 b Rhag pan ddel efe yn ddisymmwth, eich cael b 1 Thes.
o honaw yn cysgu. 5, 2, 3 Dat. 15,
37 c A'r hyn yr wyf yn eu dywedyd wrthychwi, 16 c Mat. 24,
yr wyf yn eu dywedyd wrth bawb, Gwiliwch. 13

## PEN. XIV.

*Yr Iddewon yn cydfwriadu yn erbyn Crist. 3. Mair Magdalen yn ei eneinio ef. 12. Crist yn bwyta yr oen Pasc. 18. Yn rhag-rybuddio y bradychid ef. 22. Ac yn ordeinio ei fendigedig swpper. 45. Yr Iddewon wedi i Judas ei fradychu ef â chusan yn ei ddal ef, ac yn ei gystuddio. 67. A Phetr yn ei wadu ef deirgwaith.*

AR d ben deuddydd wedi yr oedd y Pasc a [gŵyl] d Mat. 26
y bara croiw: a'r archoffeiriaid a'r scrifennydd- 1 Ioan 11,
ion a geisiasant pa ffordd y dalient ef trwy dwyll iw 48
ladd.
2 Eithr dywedasant: nid ar yr ŵyl, rhac bod cyn-
nwrf ym mhlith y bobl.
3 e Pan oedd efe yn Bethania yn nhŷ Simon y e Mat. 26,
gwahanglwyfus, ac efe yn eistedd, daeth gwraig a 6 Ioan 12, 4
chanddi flwch o ennaint o spicnard gwerthfawr, a hi
a dorrodd y blwch, ac a'i tywalldodd ar ei ben ef.
4 f Am hynny yr oedd rhai yn anfodlon ynddynt f Ioan 12,
eu hunain gan ddywedyd: I ba beth y gwnaethbwyd 4 Mat. 26, 8
y golled hon ar euaint?
5 g O blegit fe a allasid gwerthu hwn uwchlaw try- g Ioan 1, 2
chan ceiniog, a'u rhoddi i'r tlodion, ac hwy a der- 1 Tim. 4, 2
fyscasant yn ei herbyn hi.
6 h A'r Iesu a ddywedodd, Gedwch iddi, pa ham h Heb. 13
yr ydych yn anheddychu arni? hi a wnaeth weith- 16 Diar. 31
red dda arnafi: 8
7 i Canys bob amser y cewch y tlodion gyd â chwi, i Mat. 25
a phan fynnoch y gellwch wneuthur da iddynt: ond 34
myfi ni chewch bob amser.
8 Hon a wnaeth hynn a allodd, hi a enneiniodd
fyng-horph ym mlaen llaw erbyn y claddedigaeth.
9 j Yn wir meddaf i chwi, pa le bynnag y pregethir j Diar. 31,
yr Efengyl hon yn yr holl fyd, yr hyn a wnaeth hon 31 Ruth 3,
a adroddir er coffa am deni. 11
10 k Yna Iudas Iscariot un o'r deuddeg a aeth k 1 Ioan 2,
ymmaith at yr arch-offeiriaid i'w fradychu ef iddynt. 19
11 l A phan glywsant ef, llawen oedd ganddynt, l Rhuf. 1,
ac hwy a addawsant roddi arian iddo: am hynny y 32
ceisiodd, pa fodd y galle yn gymmwys ei fradychu ef.
12 m A'r dydd cyntaf o ŵyl y bara croiw, pan m Mat. 26
aberthasant y Pasc, y dywedodd ei ddiscyblion wrtho: 17. 20 Luc 22,
I ba le yr wyt yn ewyllysio i ni fyned i barotoi i ti 7
fwytta'r Pasc?
13 Ac efe a ddanfonodd ddau o'i ddiscyblion gan
ddywedyd wrthynt: Ewch i'r ddinas, ac fe a gyfer-
fydd dyn a chwi yn dwyn stened o ddwfr, dilynwch ef:
14 A pha le bynnag yr êl i mewn, dywedwch wrth
ŵr y tŷ: fod yr Athro yn ddywedyd, Pa le y mae'r
lletŷ, lle y gallwyf mi a'm disgyblion fwytta'r Pasc?
15 Ac efe a ddengys i chwi stafell fawr wedi ei
thânu yn barod, yna parotoiwch i ni.
16 A'i ddiscyblion a aethant, ac a ddaethant i'r
ddinas, ac a gawsant megis y dywedase efe wrthynt,
ac a baratoasant y Pasc.
17 Ac yn yr hwyr y daeth efe gyd â'r deuddeg. n Luc 22,
18 n Pan eisteddasant a bwytta, dywedodd yr Iesu, 21 Ioan 13,
Yn wir meddaf i chwi, un o honoch a'm bradycha fi 19
yr hwn sydd yn bwytta gyd â mi. o Mat. 9,
19 o Hwythau a ddechreuasant dristau, a dywedyd 15 Ioan 13,
wrtho ol yn ol: Ai myfi? ac arall, Ai myfi? 21
20 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Un Ioan 2, 25 a 32, 17

o'r deuddec yr hwn sydd yn gwlychu gyd â mi yn y
pLuc 24, ddyscl [yw efe].
25 Act. 2,23 21 p Mab y dyn yn wir sydd yn myned ymmaith fel
a 4, 28. y mae yn scrifennedic am dano: ond gwae 'r dyn
hwnnw trwy'r hwn y bradychir Mab y dyn, da fuase
i'r dyn hwnnw pe buase heb ei eni.
q 1 Cor. 22 q Ac fel yr oeddent yn bwytta, yr Iesu a gym-
11, 24 merth fara, ac wedi iddo roi diolch, efe ai torres ac ai
1Tim. 4. rhoddesiddynt; ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwyt-
5 tewch, hwnn yw fyng-horph.
r1Cor.10 23 r Ac efe a gymmerth y cwppan, ac wedi iddo
16 ddiolch, efe a'i rhoddes iddynt, a hwynt oll a yfasant
o honaw.
sMat.12, 24 s Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hwn yw fyng-
1 Esa.9,6 waed i o'r Testament newydd, yr hwnn a dywelldir
tros lawer.
tMat.25, 25 t Yn wir yr wyf yn dywedyd wrthych: nad yfaf
20 Luc 19, mwy o ffrwyth y winwydden, hyd y dydd hwnnw
12 pan yfwyf ef yn newydd yn nheyrnas Dduw.
uIoan10, 26 u Ac wedi iddynt roi moliant, hwynt hwy a aeth-
15 Act. 21, ant allan i fynydd Olewydd.
15 27 v A dywedodd yr Iesu wrthynt: Y nos hon i'ch
vIoan.16, rhwystrir chwi oll o'm hachos i. Canys scrifennedic
32 Mat. 11, yw, Tarawaf y bugail, a'r defaid a wascerir.
6 wRhuf.1 28 w Eithr wedi i mi adgyfodi mi a af o'ch blaen i
4 Galilea.
xPhil. 4, 29 x Petr a ddywedodd wrtho: Pe rhwystrid pawb,
13 ni [rwystrir] mo honofi.
yIoan.13 30 y Yna y dywedodd yr Iesu wrtho: Yn wir yr
38 ydwyf yn dywedyd i ti, heddyw o fewn y nos hon
cyn canu o'r ceiliog ddwy-waith, y gwedi fi dair-
gwaith.
31 Ac efe a ddywedodd yn gadarnach o lawer, Pe
gorfydde i mi farw gyd â thi, ni'th wadaf; yr un modd
hefyd y dywedasant oll.
z Mat.9, 32 z Ac wedi iddynt ddyfod i'r lle a elwir Geth-
16 semane, yna efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion,
Eisteddwch ymma tra fyddwyf yn gweddio.
aMat 10, 33 a Ac efe a gymmerth gyd ag efe Petr ac Iaco, ac
36 Ioan, ac a ddechreuodd arswydo, a thristau yn ddir-
fawr.
bGal. 3, 34 b Ac efe a ddywedodd wrthynt: Y mae fy enaid
3 Esa. 53,4 yn drist hyd angeu, arhoswch, a gwiliwch.
c Dat. 3, 35 c Ac efe a aeth ychydig pellach, ac a syrthiodd
10 ar y ddaiar, ac a weddiodd, o bai bossibl ar fyned yr
awr honno oddi wrtho.
dRhuf.8, 36 d Ac efe a ddywedodd, Abba, Dad, pob peth a
15 elli di, tro ymmaith y cwppan hwn oddi wrthif; eithr
Gal. 5,6. Eph.5,11 [bydded] nid yr hyn a fynnwyf fi, eithr yr hyn [a fyn-
nech] di.
eLuc 22, 37 e Ac efe a ddaeth ac a'u cafodd hwynt yn cyscu,
45 ac a ddywedodd wrth Petr, Simon, ai cyscu yr wyt?
oni allit wilio un awr?
fEph. 6, 38 f Gwiliwch a gweddiwch, rhag eich myned mewn
18 Mat. 26, temtasiwn: yr yspryd yn ddiau sydd ewyllyscar, eithr
41 y cnawd sydd wann.
gHeb. 5, 39 g Ac wedi iddo fyned eil-waith, efe a weddiodd
7 gan ddywedyd yr un ymadrodd.
h Heb.5, 40 h Ac wedi iddo ddychwelyd, efe ai cafodd hwynt
11 a 3, 13 eilwaith yn cyscu, (canys yr oedd eu llygaid hwynt
yn drymmion) ac ni wyddent beth a attebent iddo.
iMat.20, 41 i Ac efe a ddaeth y drydedd waith, ac a ddywed-
19 Gal.2. 15 odd wrthynt, Cyscwch weithian a gorphwyswch,
digon yw; daeth yr awr, wele yr ydys yn bradychu
Mab y dyn i ddwylo pechaduriaid.

42 j Cyfodwch, awn: wele y mae yr hwn sydd i'm jIoan 14,
bradychu yn agos. 31
43 Ac yn y man ac efe etto yn llefaru daeth Iudas,
un o'r deuddec, a chyd ag ef dyrfa fawr â chleddyfau,
a ffynn, oddi wrth yr archoffeiriaid a'r scrifenyddion
a'r henuriaid.
44 A'r hwn a'i bradychodd ef a roddase arwydd
iddynt, gan ddywedyd, Pwy bynnag a gussanwyf,
hwnnw yw, daliwch ef, a dygwch ymmaith yn siccr.
45 A phan ddaeth, yn ebrwydd yr aeth ato, ac a
ddywedodd, Rabbi, Rabbi, ac a'i cusanodd ef.
46 k A hwynt a ymafaelasant ynddo, ac a'i daliasant. kIoan18,
47 l Ac un o'r rhai oeddynt yn sefyll ger llaw a 12 lAct. 14,
dynnodd ei gleddyf, ac a darawodd was yr archoffeir- 11, 18
iad, ac a dorrodd ymmaith ei glust ef.
48 m A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, mLuc 22
Chwi a ddaethoch allan fel at leidr, â chleddyfau ac 52
â ffyn i'm dala i.
49 n Beunydd yr oeddwn gyd â chwi, yn athraw- nLuc 21,
iaethu yn y deml, ac ni'm daliasoch, ond rhaid yw 25, 26 Esa. 53,
cyflawni'r scrythyrau. 10
50 o Yna hwynt hwy oll a'i gadawsant ef, ac a ffo- Sal. 22,7 o2Tim.1,
asant. 15
51 Ac un gwr ieuanc oedd yn ei ddilyn ef wedi ym-
wisco â lliain ar [ei gorph] noeth, y gwŷr ieuaingc a
ddaliasant hwn.
52 Yr hwn a adawodd y lliain ac a ddiangodd yn
noeth-lwm oddi wrthynt.
53 p Ac hwy a ddugasant yr Iesu at yr archoffeiriad; pAct. 8,
a'r holl arch-offeiriaid a'r henuriaid, a'r scrifennydd- 32
ion a ymgasclasant gyd ag ef.
54 q A Phetr oedd yn ei ddilyn ef o hirbell, oni qIoan18
ddaeth efe i mewn i lys yr arch-offeiriad, ac yr oedd 16
yn eistedd gyd â'r gwasanaethwyr, yn ymdwymno
wrth y tân.
55 r A'r arch-offeiriaid a'r holl gyngor oedd yn ceisio r1Pedr3,
tystiolaeth yn erbyn yr Iesu, iw roi ef i farwolaeth 16 Dan. 6,4
ac ni chawsant.
56 Canys llawer a ddugasant gau destiolaeth yn ei
erbyn ef, eithr nid oedd eu testiolaethau hwynt yn
gysson.
57 Yna y cyfodes rhai i gam destiolaethu yn ei er-
byn ef gan ddywedyd:
58 s Ni a'i clysom ef yn dywedyd, Mi a ddinistriaf s Ioan 2,
y deml hon o waith dwylo, ac mewn tridiau yr ad- 19 Act.6,13
eiladaf arall heb fod o waith llaw. 14
59 Ac eto nid oedd eu testiolaeth hwynt gymmwys.
60 Yna y cyfododd yr arch-offeiriad yn eu canol
hwynt, ac a ofynnodd i'r Iesu gan ddywedyd: Onid
attebi di ddim? Beth y mae y rhai hyn yn ei destiol-
aethu yn dy erbyn?
61 t Ac efe a dawodd, ac nid attebodd ddim. Dra- tMat.26
chefn yr arch-offeiriad a ofynodd iddo gan ddywed- Esa.53,7
yd wrtho: Ai ty di yw Christ Mab y bendigedig?
62 u Yr Iesu a ddywedodd, Myfi yw, a chwi a uDat.1.7
gewch weled Mab y dyn yn eistedd ar ddehau gallu Eph.1.20 Mat. 26,
Duw, ac yn dyfod yng-hwmylau'r nef. 64
63 v Yna yr arch-offeiriad gan rwygo ei ddillad a vLef.21,
ddywedodd, Pa raid i ni mwy wrth dystion? 10
64 w Chwi a glywsoch gabledd, beth dybygwch wMat.9,
chwi? a hwynt oll a'i barnasant yn euog o farwolaeth. 34 Act.24,5
65 x Yna y dechreuodd rhai boeri arno a chuddio 6
ei wyneb, a'i gernodio a dywedyd wrtho, Prophwyda, Lef24.16 xMat 26
a'r gweinidogion a'i tarawsant â gwiail. 67
66 Ac fel yr oedd Petr yn y neuadd i wared daeth

un o forwynion yr arch-offeiriad:
yIoan18, 67 y A phan ganfu hi Petr yn ymdwymno, hi a ed-
16 Luc22,55 rychodd arno, ac a ddywedodd: Tithe hefyd oeddit
gyd âg Iesu o Nazareth.
zIer.17,9 68 z Ac efe a wadodd gan ddywedyd, Nid adwen i,
ac ni wn, beth yr wyt yn ei ddywedyd, ac efe a aeth
allan i'r porth, a'r ceiliog a ganodd.
aMat.4,8 69 a Yna'r forwyn pan welodd hi ef trachefn, hi a
Lu.22,59 ddechreuodd ddywedyd wrth y rhai oeddynt yn
sefyll yno, Y mae hwn o honynt.
70 Ac efe a wadodd trachefn: ac ychydig wedi y
rhai oeddynt yn sefyll gerllaw a ddywedasant wrth
Petr trachefn, Yn wir yr wyt o honynt, canys Galile-
ad wyt, a'th leferydd sydd debyg.
bIago1, 71 b Yna y dechreuodd efe regu a thyngu, Nid
15 2Sam.11 adwen i mo'r dyn yr hwn yr ydych yn ei ddywedyd.
2,3 72 c Yna y canodd y ceiliog eilchwel: a Phetr a
Rhuf.11. gofiodd y gair a ddywedase 'r Iesu wrtho, Cyn canu
20 c2Cor.7, o'r ceiliog ddwy-waith, ti a'm gwedi deir-gwaith: a
11 chan ruthro allan efe a wylodd.
Mat. 26,
75

## PENNOD XV.

Lu.15,17 *Y Phariseaid yn rhoddi Crist i Pilat. 11. Ac yn annog y bobl i ddewis Barabbas, ac i wrthod Crist. 15. Pilat yn peri ffrewyllu Crist ai roddi i'r milwyr y rhai ai croes-hoeliasant ef gan ei gystuddio eynt a chwedi. 43. Ioseph yn ei gladdu ef.*

dDiar.4, AC d yn y fan y boreu yr ymgynghorodd yr arch-
16 offeiriaid gyd â'r henuriaid a'r scrifenyddion a'r
Mat.2,4 holl gynghor, ac a ddugasant yr Iesu yn rhwym, ac
a'i rhoddasant i Pilatus.
eIoan18, 2 e A gofynnodd Pilatus iddo, Ai ti wyt Frenin yr
33 Iddewon? ac efe a attebodd gan ddywedyd wrtho,
1Tim.6, Yr wyt ti yn dywedyd.
13 3 f A'r arch-offeiriaid a'i cyhuddasant ef o lawer o
fEsa53,7 bethau.
Mat 7,6
gMat.27 4 g Pilatus eilwaith a ofynodd iddo gan ddywedyd,
13 Ioan 18, Onid attebi di ddim? wele gymmaintag y maent yn
33 eu testiolaethu yn dy erbyn.
5 A'r Iesu er hynny nid attebodd ddim, megis y
rhyfeddodd Pilatus.
hMat15, 6 h Ar yr ŵyl [hono] y gollyngeefe yn rhydd iddynt
6 un carcharor yr hwn a fynneut.
iAct3,14 7 i Ac yr oedd un a elwid Barabbas, yr hwn oedd yn
Ioan 18, rhwym gyd â therfysc-wyr eraill, y rhai mewn terfysc
40 a wnaethent lofruddiaeth.
8 A'r dyrfa gan lefain a ddechreuodd ddeisyf arno
wneuthur fel y gwnaethe bob amser iddynt.
9 Yna Pilatus a attebodd iddynt gan ddywedyd: A
fynnwch chwi i mi ollwng yn rhydd i chwi Frenin yr
Iddewon?
jRhuf.2, 10 j (Canys efe a wydde mai o genfigen y traddod-
15 ase yr arch-offeiriaid ef,)
Iago4,17 11 k A'r arch-offeiriaid a annogasent y bobl, [i geisio]
Luc12,47 1 Ioan 3, yn hytrach ollwng Barabbas iddynt.
12 kSal 22. 12 Yna Pilatus gan atteb a ddywedodd eilwaith
12 wrthynt: Beth gan hynny a fynnwch i mi ei wneu-
Ioan7,48 thyd i'r hwn yr ydych yn ei alw Brenin yr Iddewon?
lMat.21, 13 l Hwyntau a lefasant trachefn: Croes-hoelia ef.
9 14 m Yna Pilatus a ddywedodd wrthynt, Pa ddrwg a
mDan.6, wnaeth efe? hwythau a lefasant fwy-fwy Croes-hoel-
14 Sal.11,3 ia ef.
nAct. 12 15 n Felly Pilatus yn chwennych bodloni 'r bobl a
3 Ecs18,21 ollyngodd iddynt Barabbas, ac a rhoddes yr Iesu
wedi iddo ei ffiangellu iw groes-hoelio.
oDiar.29 16 o Yna'r milwyr a'i dugasant ef i'r llys, yr hwn
12

yw'r dadleudŷ, ac hwy a alwasant yng-hyd yr holl
fyddin.
17 p Ac a'i gwiscasant ef â phorphor a chan blethu pPhil.2.
coron o ddrain, hwynt hwy a'i dodasant arno, 7 Iob 30 8
18 Ac a ddechreuasant gyfarch iddo: Hanphych well 1Cor 4,9
Brenin yr Iddewon.
19 A hwynt a gurasant ei ben ef â chorsen, ac a boer-
asant arno, a chan blygu eu gliniau a'i haddolasant ef.
20 q Ac wedi iddynt ei wattwar ef, hwy a ddioscas- qAct2,32
ant y porphor oddi am dano, ac a'i gwiscasant ef â'i a 23,32
ddillad ei hun, ac a'i dugasant allan fel y croes-hoel-
ient ef.
21 r Ac hefyd hwynt hwy a gymmellasant un a oedd rRhuf.16
yn myned heibio, [a'i enw] Simon o Cyren (yr hwn a 13 Mat. 16,
ddaethe o'r wlad, ac oedd dad Alexander a Rufus) i 24
ddwyn ei groes ef. a 27,32
22 s A hwynt a'i harweiniasant ef i le [a elwid] Gol- sHeb. 13
gotha: yr hwn yw o'i gyfieithu y Benglogfa. 11
23 t Ac a roessant iddo i'w yfed win myrhllyd, eithr tGalar 3
efe ni's cymmerth. 19
24 u Ac wedi iddynt ei groes-hoelio ef, hwy a ran- uIoan 19
nasant ei ddillad ef, gan fwrw coel-brennau am danynt 23
beth a ddoe i bob un.
25 Ar drydedd awr oedd hi pan groes-hoeliasant ef.
26 v Ac yr oedd scrifen ei achos ef wedi ei argraphu, vIoan 11
BRENIN YR IUDDEWON. 50
27 w A hwynt hwy a grogasant ddau leidr gyd ag wLuc 23
ef, un ar y llaw ddehau, a'r llall ar yr asswy. 24
28 x A'r scrythyr lân a gyflawnwyd, yr hon a ddy- xEsa 53,
wed, Ac ef a gyfrifid gyd â rhai anwir. 12
29 y A'r rhai oeddynt yn myned heibio a'i cablent ef yIob6,14
gan escwyd eu penneu a dywedyd, Och tydi yr hwn Galar 2,
a ddinistrit y Deml, a'i hadeiladu mewn tridiau, 15
30 Gwaret di dy hun, a descyn oddi ar y groes.
31 z Yr un ffunyd yr arch-offeiriaid a watworasant zSal 2. 6
gan ddywedyd y naill wrth y llall, ac wrth yr scrif- Dat 11,
ennyddion, Eraill a achubodd efe, ac ni ddichon ei 10 2Tim 2,9
achub ei hun.
32 a Descynned Crist, Brenin yr Israel, yr awran aMat 28
oddi ar y groes, fel y gwelom, ac y credom: y rhai 12 a 16,1
a grogasid gyd ag ef a ddannodasant iddo hefyd.
33 b A phan ddaeth y chweched awr, y bu tywyll- bMat 27,
wch ar yr holl ddaiar hyd y nawfed awr. 45
34 c Ac ar y nawfed awr y dolefodd yr Iesu â llef Dat 16,
uchel, gan ddywedyd, *Eloi, Eloi, lamma Sabach-* 10 Mat 8,12
*thani?* yr hyn yw o'i gyfieithu, fy Nuw, fy Nuw, pa cHeb5,7
ham i'm gwrthodaist? Sal 22,1
35 d A rhai o'r sefyll-wyr, pan glywsant, a ddywed- dMal 4,5
asant, Wele, y mae yn galw ar Elias.
36 e Ac un a redodd, ac a lanwodd yspwrn o finegr, eSal 69,
ac ai dodes ar gorsen iddo i yfed: gan ddywedyd, 21 Ioan 19,
Gedwch iddo, edrychwn a ddaw Elias iw dynu ef i 29
lawr.
37 A'r Iesu a lefodd â llef uchel, ac a ymadawodd
â'r yspryd.
38 f A llenn y Deml a rwygodd yn ddwy, o'r pen fHeb6,19
uchaf hyd yr isaf. a 9,3
39 A phan welodd y canwriad yr hwn oedd yn sef- a 10,20 2Cor3,16
yll gyferbyn ag ef ddarfod iddo yn llefain felly ym-
ado â'r yspryd, efe a ddywedodd, Yn wir Mab Duw
oedd y gwr hwn.
40 g Yr oedd yno wragedd yn edrych o hirbell, ym gLuc 8,2
mhlith y rhai hyn yr oedd Mair Magdalen, a Mair
(mam Iaco leiaf ac Iose) a Salome.
41 Y rhai hefyd pan oedd efe yn Galilæa, a'i dilyn-

asant ef, ac a weiniasant iddo, a llawer eraill, y rhai a
ddaethent ar un waith gyd ag ef i fynu i Ierusalem,
h Mat.27 42 [h] Pan ydoedd hi weithian yn hwyr am ei bod hi
57 Ecs 12 6 yn ddarparŵyl, sef y dydd cyn y Sabboth,
i Luc 2,25 43 [i] Y daeth Ioseph o Arithmæa, cynghorwr pende-
Ioan 19, 38 figaidd, (yr hwn oedd hefyd yn edrych am deyrnas
Tit 2, 13 Dduw) ac a aeth yn hyf i mewn at Pilatus, ac a ofyn-
2 Pedr 3, 12 nodd gorph yr Iesu.
44 A rhyfedd oedd gan Pilatus, o buase efe farw cyn
gynted; ac wedi iddo alw y canwriad, gofynodd iddo
a oedd efe wedi marw eusys?
45 A phan wybu efe [y gwirionedd] gan y canwriad,
rhoddes y corph i Ioseph;
j Mat 27, 59 46 [j] Ac efe a brynodd liain main, ac a'i tynnodd ef
Esa. 53,9 i lawr, ac a'i amdôdd yn y lliain main, ac a'i rhoddes
Act 2, 24 ef mewn bedd a naddesid o'r graig, ac a dreiglodd
Luc 23, 53 faen ar ddrws y bedd.
Ioan 11, 38, 39 47 A Mair Magdalen, a Mair [mam] Iose a edrych-
Mat. 28, 15. a 27, 66 asant pa le y rhoddid ef.

## PEN. XVI.

*Angel Duw yn dywedyd i'r gwragedd gyfodi Crist, ac yr ae efe i Galilea; 9. yntef yn ymddangos i Mair Magdalen, 12. ac i ddau eraill, 14. yna i'r un-ar-ddec; 15. ac wedi iddo roddi iddynt awdurdod i bregethu, a bedyddio, a gwneuthur gwrthiau, yn escyn i'r nefoedd.*

k Luc 23, 56 AC [k] wedi darfod y dydd Sabboth, Mair Magdalen,
Ioan 20,1 a Mair [mam] Iaco, a Salome a brynasant ber-
aroglau i ddyfod iw eneinio ef.
2 Felly yn foreu iawn y dydd cyntaf o'r wythnos y
daethant at y bedd, a'r haul wedi codi,
3 Ac hwy a ddywedasant wrth ei gilydd, Pwy a
dreigla i ni y maen o ddrws y bedd?
4 A phan edrychasant, hwynt hwy a ganfuant fod y
maen wedi ei dreiglo (canys yr oedd efe yn fawr iawn)
l Act 1,10 5 [l] Ac wedi iddynt fyned i mewn i'r bedd hwynt hwy
Sal 51, 7 Dan 3,4,5 a welsant fab ieuangc yn eistedd o'r tu dehau wedi ei
a 4. 4 a 6, 11 ddilladu â gwisc gannaid, ac a ofnasant.
m Esa.3, 10 6 [m] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch, ceisio
Rhuf.1.4 yr ydych Iesu o Nazareth, yr hwn a groes-hoeliwyd, efe
1 Cor. 15, 20 a gyfodes, nid yw efe ymma, wele 'r man y dodasant ef.
7 [n] Eithr ewch ymmaith, a dywedwch iw ddiscybl- n 2 Cor. 2, 10
ion ef, ac i Pedr, ei fod efe yn myned o'ch blaen i Ga- Marc 14,
lilæa, yno y cewch ei weled ef, fel y dywedodd i chwi. 28
8 [o] Yna'r aethant ar ffrwst, ac a ffoesant oddi wrth y o Lu. 24,9 Mat. 28,8
bedd: canys dychryn a syndod oedd arnynt, ac ni
ddywedasant ddim wrth neb am eu bod wedi ofni,
9 [p] Pan adgyfododd yr Iesu y boreu y dydd cyntaf p Ioan 20,
o'r wythnos, efe a ymddangosodd yn gyntaf i Mair 14 Luc 8,2
Magdalen, o'r hon y bwriase efe allan saith gythrael.
10 Hithe a aeth, ac a fynegodd i'r rhai a fuasent gyd
ag ef, ac oeddynt mewn galar ac wylofain.
11 [q] Eithr hwynt pan glywsant ei fod efe yn fyw, ac q Luc 24,
iddi ei weled ef, ni chredent. 1
12 [r] Wedi hynny yr ymddanghosodd efe mewn gwedd r Luc 24,
arall i ddau o honynt yn ymdeithio, y rhai oeddynt yn 13, 18 Ioan 20,
myned i'r wlad. 15
13 Ac hwynt hwy a aethant, ac a fynegasant i'r lleill,
ac ni chredent hwy
14 [s] Yn ol hynny efe a ymddangosodd i'r un ar ddec, s Luc 24,
a hwynt yn cyd-eistedd, ac a ddanuododd iddynt eu 36
angrhediniaeth, a'u calon galedwch, am na chredent Ioan 20,
y rhai a'i gwelsent ef wedi adgyfodi. 19
15 [t] Ac efe a ddywedodd wrthynt: Ewch i'r holl fyd, t Col.1,23
a phregethwch yr efengyl i bob creadur, Mat. 28, 19
16 [u] Y neb a gredo, ac a fedyddier fydd cadwedig, u Ioan 12,
eithr y neb ni chredo a gondemnir. 48
17 [v] A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gred- v 1 Cor. 12,
ant: yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid, a 28 Act 14,18
llefarant â thafodau newyddion. a 16 18
18 [w] Seirph a godant hwy ymmaith, ac os yfant ddim a 2. 2 a 10, 46
marwol, ni wna iddynt niwed, ar y cleifion y rhodd- w Act 28,
ant eu dwylo, a hwynt hwy a fyddant iach. 5
19 [x] Wedi darfod i'r Arglwydd lefaru wrthynt, cym- x Act. 21,
merwyd ef i fynu i'r nef, ac efe a eisteddodd ar ddeheu- 21
law Duw. Eph.1,20
20 [y] A hwynt a aethant allan, ac a bregethasant ym y 1 Cor. 3,
mhob man, a'r Arglwydd yn cydweithio, ac yn cad- 9
arnhau yr gair trwy arwyddion y rhai oeddynt yn
canlyn. AMEN.

---

# YR EFENGYL SANCTAIDD

## YN OL

# S[T]. LUC.

## PENNOD I.

*Rhieni Ioan a'i genhedliad. 26. Mair wedi i'r angel ei chyfarch yn beichiogi trwy'r Ysbryd Glân, yn ymweled ag Elisabeth ei chares, ac yn canu mawl i Dduw. 57. Genedigaeth ac enw Ioan. 68. Zacharias yn canu mawl i Dduw.*

GAN ddarfod i lawer gymmeryd arnynt drefnu
arddangosiad o'r pethau sy lawn hyspys yn ein
a Heb 2,3 plith.
1 Ioan 1,1 2 [a] Fel y traddododd i ni y rhai oeddynt eu hunain
b 2 Pedr 2, 20 o'r dechreuad yn gweled, ac yn weinidogion y gair.
Act 15, 25, 28 3 [b] Mi a welais fod yn dda, wedi i mi ddilyn y owbl
yn ddyfal o'r dechreuad, scrifennu mewn trefn attat, O
ardderchoccaf Theophilus,
4 [c] Fel yr adnabyddit wirionedd y pethau i'th ddys- c Preg. 8, 1
cwyd yndddynt. Act 17,11
5 YR oedd yn nyddiau Herod frenin Iudæa ryw d 1 Cron 23, 5, 10
offeiriad a'i enw Zacharias o gylch Abia, a'i
wraig [oedd] o ferched Aaron ai henw Elisabeth.
6 [e] Yr oeddynt ill dau yn gyfiawn ger bron Duw, ac e Phil 3, 7, 8
yn rhodio yn holl orchymynnion a deddfau'r Arglwydd Sal 119,6
yn ddifeius. Mat 3,15
7 Ac nid oedd ddim plant iddynt, am fod Elisabeth

heb blanta, ac yr oeddynt wedi myned ill dau mewn
gwth o oedran.
8 A bu ag efe yn gwasanaethu swydd offeiriad, yn ol
trefn ei gylch, ger bron Duw,
9 Yn ol arfer swydd yr offeiriaid, ddyfod o ran iddo
arogl-darthu, yn ol ei fyned i Deml yr Arglwydd,
f 2 Cron. 4, 9 10 [f] A'r lliaws pobl oll oedd allan yn gweddïo ar awr
yr arogl-darthiad.
g Heb. 1 14 Dan. 9, 20 11 [g] Yna yr ymddangosodd iddo angel yr Arglwydd
yn sefyll o'r tu dehau i allor yr arogl-darth.
12 [h] A Zacharias pan ganfu, a gythruddodd, ac ofn
h Barn. 13, 20, 21 a syrthiodd arno.
13 A'r angel a ddywedodd wrtho, Nac ofna, Zach-
arias, canys gwrandawyd dy weddi; a'th wraig Eliza-
beth a ddwg i ti fab, a thi a elwi ei enw ef Ioan.
14 A bydd i ti lawenydd a gorfoledd, a llawer a
lawenychant am ei enedigaeth ef.
i Mat. 11, 9 15 [i] Canys mawr fydd efe yng-olwg yr Arglwydd, ac
Gal. 1, 15 nid ŷf na gwin na diod gadarn, ac efe a gyflawnir o'r
Ysbryd Glân o groth ei fam.
16 A llawer o feibion Israel a drŷ efe at yr Arglwydd
eu Duw.
j Mat. 3, 3 a 11 11 17 [j] Canys efe a rodia ger ei fron ef, yn yspryd a
Eph. 2 13 nerth Elias, fel y trŷ calonnau'r tadau at y plant, a'r
rhai gwrthryfelgar i ddoethineb y cyfiawn; i ddarpar
i'r Arglwydd bobl barot.
18 Yna y dywedodd Zacharias wrth yr angel, Pa
fodd y gwybyddafi hyn? Canys henaf-gwr wyfi, am
gwraig hefyd mewn gwth o oedran.
k Dat. 8 2 19 [k] A'r angel gan atteb a ddywedodd wrtho, Myfi
a 9 21 yw Gabriel yr hwn wyf yn sefyll yng-olwg Duw, ac
a anfoned i lefaru wrthit, ac i efangylu i ti hynn.
l Num. 20 12 20 [l] Ac wele, ti a fyddi fud, ac ni elli lefaru hyd y
Rhuf. 3 3 dydd y gwneler y pethau hynn, am na chredit i'm
geiriau i, y rhai a gyflawnir yn eu hamser.
21 Ac yr oedd y bobl yn aros am Zacharias, ac yn
rhyfeddu ei fod efe yn aros yn y Deml.
22 A phan ddaeth efe allan, ni allai efe ddywedyd
wrthynt: ac hwy a wybuant weled o honaw weled-
igaeth yn y Deml: canys efe a amneidiodd arnynt, ac
a arhosodd yn fud.
m 1 Cron. 24 7 18 23 [m] A phan ddarfu cyflawni dyddiau ei weinidog-
aeth, efe a aeth i'w dŷ ei hun.
24 Ac yn ôl y dyddiau hynny y cafodd Elisabeth ei
wraig ef feichiogi, ac a ymguddiodd bum-mis gan
ddywedyd,
n Gen. 21 1 2 a 30 23 25 [n] Felly y gwnaeth yr Arglwydd i mi yn y dyddiau
yr edrychodd i dynnu ymmaith fyng-wradwydd ym
1 Tim. 1 6 mhlith dynion.
1 Sam. 1 11 26 Ac yn y chweched mis yr anfonwyd yr angel
Gabriel oddi wrth Dduw, i ddinas yn Galilæa a'i henw
Nazareth,
o Mat. 1, 18 27 [o] At forwyn wedi ei dyweddïo i ŵr a'i enw Ioseph
p Diar. 11, 16 o dŷ Ddafydd, ac enw 'r forwyn oedd Mair.
28 [p] A'r angel a aeth i mewn atti ac a ddywedodd,
Rhuf. 8, 31 Hanphych well yr hon a gefaist râs, yr Arglwydd
Barn. 5, 24 sydd gyd â thi: bendigaid wyt ym mhlith gwragedd.
q Esa. 7, 14 29 Pan welodd hi [efe,] brawychu a wnaeth wrth ei
ymadrodd ef: a meddwl pa fath gyfarch oedd hwn.
Gal. 4, 4 30 Yna y dywedodd yr angel wrthi, Nac ofna Mair,
Mat. 1, 21 canys ti a gefaist râs ger bron Duw.
r Esa. 9, 6 31 [q] Ac wele, ti a gei feichiogi, ac a escori ar fab, ac
Tit. 2, 13 Mat. 28, 18 a elwi ei enw ef IESU.
Dan. 7. 14 32 [r] Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf,
1 Tim. 6, 15 ac iddo y rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad

Dafydd:
33 [s] Ac efe a deyrnasa ar dŷ Iacob yn dragywydd, s Dat 3, 21 1 Tim. 6, 15
ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd.
34 [t] A Mair a ddywedodd wrth yr angel, Pa fodd y 2 Tim. 4, 1 2 Pedr 1, 12
bydd hynn, gan nad adwen i ŵr?
35 [u] A'r angel a atebodd ac a ddywedodd wrthi, Yr t Mat. 15, 31
Yspryd glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th u Marc 1 20
gysgoda di: am hynny y peth sanctaidd a aner o
hanot, a elwir yn Fab Duw. Gal. 4, 4
36 Ac wele Elisabeth dy gares yn feichiog o fab yn
ei henaint; a hwn yw'r chweched mis iddi hi, yr hon a
elwid yn ammhlantadwy.
37 [v] Canys gyd â Duw nid oes dim yn ammhossibl. v Marc 10 26
38 Yna y dywedodd Mair, Wele wasanaethyddes yr
Arwlwydd: bydded i mi yn ol dy air di. A'r angel a
aeth ymmaith oddi wrthi hi.
39 A Mair a gafodd yn y dyddiau hynny, ac aeth i'r
mynydd-dir ar frys i ddinas o Iudæa,
40 Ac hi a aeth i mewn i dŷ Zacharias, ac a gyfarch-
odd Elisabeth.
41 [w] A phan glybu Elisabeth gyfarch Mair, y plentyn w Gal. 3, 28
yn ei chroth hi a lammodd, ac Elisabeth a lanwyd o'r
Ysbryd glân.
42 A llefain a wnaeth â llef uchel, a dywedyd, Ben-
digedig wyt ti ym mhlith gwragedd, a bendigedig yw
ffrwyth dy groth.
43 [x] Ac o ba le y mae i mi hyn, ddyfod mam fy Ar- x Ioan 20, 28
glwydd attafi?
44 Canys wele er cynted y daeth lleferydd dy gy-
farch di i'm clustiau, y plentyn a lammodd o lawen-
ydd yn fyng-hroth.
45 A bendigedig yw yr hon a gredodd: canys cyf-
lawnir y pethau a ddywedpwyd wrthi gan yr Ar-
glwydd.
46 [y] Yna y dywedodd Mair, Y mae fy enaid yn y Sal. 103, 1
mawrhau yr Arglwydd,
47 [z] A'm hysbryd a lawenychodd yn Nuw fy z Phil. 4, 4
Iachawdr. Act. 4, 12
48 Canys efe a edrychodd ar waeledd ei wasanaeth-
yddes: ac o hyn allan pob oes a'm geilw i yn wyn-
fydedig.
49 [a] Canys yr hwn sydd alluog a wnaeth i mi fawr- a 1 Tim. 3, 16
edd; a sanctaidd yw ei enw ef.
50 [b] A'i drugaredd [sydd] yn oes oesoedd, i'r rhai a'i 1 Pedr 1, 12
hofnant ef. b Sal 130, 4
51 [c] Efe a wnaeth gadernid â'i fraich, efe a wascar- Mal. 4, 2
odd y rhai beilchion ym mwriadau eu calonnau. c Ester 6, 6
52 Efe a dynnodd i lawr y cedyrn o'u gorseddfeing-
iau, ac a dderchafodd y rhai gwael. Dan 4, 30
53 Y rhai newynog a lanwodd efe â phethau da: ac
efe a anfonodd ymmaith y rhai goludog mewn eisieu.
54 Efe a dderbyniodd ei was Israel, gan gofio ei
drugaredd
55 [d] (Fel y dywedodd wrth ein tadau, Abraham a'i d Gal. 3, 15, 16
hâ l) yn dragywydd.
56 A Mair a arhosodd gyd â hi yng-hylch tri-mis,
ac yna yr aeth hi i'w thŷ ei hun.
57 Wedi cyflawni tymp Elisabeth i escor, hi a escor-
odd ar fab.
58 [e] A phan glybu ei chymydogion a'i chenedl hi e Rhuf. 12 15
fawrhau o'r Arglwydd ei drugaredd arni, hwynt hwy
a gyd-lawenychasant â hi.
59 A bu ar yr wythfed dydd, pan ddaethant i en-
waedu ar y dyn bychan, iddynt alw ei enw yn ol enw
ei dad Zacharias.

60 A'i fam ef a attebodd ac a ddywedodd, Nid felly,
eithr ei enw ef fydd Ioan.
61 Hwythau a ddywedasant wrthi, Nid oes neb o'th
genedl a elwir ar yr henw hwn.
fGen. 21, 3 a 2, 19 62 f Yna yr amneidiasant ar ei dad pa fodd y mynne
efe ei henwi ef.
63 Ac yntef wedi iddo alw am orgraph-lech a scrif-
enodd gan ddywedyd, Ioan yw ei enw ef, a rhyfeddu
a wnaethant oll.
64 Ac agorwyd ei enau ef yn ebrwydd, a'i dafod ef
a lefarodd, gan fendithio Duw.
65 Yna y daeth ofn ar eu holl gymydogion hwynt,
a thrwy holl fynydd-dir Iudæa y cyhoeddwyd y geir-
iau hynn oll.
66 A phawb ar a'u clywsant a'u gosodasant yn eu
calonnau, gan ddywedyd, Beth fydd y bachgenyn
hwn? canys llaw'r Arglwydd oedd gyd ag ef.
67 Yna ei dad Zacharias a gyflawnwyd o'r Ysprydd
Glan, ac a brophwydododd, gan ddywedyd,
g 1Pedr 1, 18 68 g Bendigeid fyddo Arglwydd Dduw Israel, canys
Eph. 1, 7 efe a ymwelodd, ac a brynodd ei bobl.
Mat. 1, 21 69 h Ac efe a dderchafodd nerth iechydwriaeth i ni,
hSal. 75, 5 a 89, 17 yn nhŷ Ddafydd ei wasanaethwr,
a 132, 17, 18 70 i Megis y dywedodd trwy enau ei sanctaidd bro-
i1Cor. 18, 11 phwydi, y rhai oeddent erioed,
71 j [Yr anfone efe i ni] iechydwriaeth oddi wrth ein
Ier. 23, 6 Ioan 5, 39 gelynion, ac o law ein holl gaseion,
j1Cor. 15, 25 72 Gan wneuthur trugaredd a'n tadau, a chofio ei
sanctaidd gyfammod:
kHeb. 6, 13 73 k A'r llw a dyngodd efe i'n tad Abraham ar ei
roddi i ni.
lTit. 2, 11 12 74 l [Sef bod i ni] yn ddiofn wedi ein rhyddhau o
Sal. 130, 4 ddwylo ein gelynion, ei wasneuthu ef
m 1Pedr 1, 15 75 m Mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder ger ei
fron ef holl ddyddiau ein bywyd.
nMat. 11 9 76 n A thithe fachgenyn a elwir yn brophwyd i'r
Goruchaf: canys ti a ei o flaen wyneb yr Arglwydd
i baratoi ei ffyrdd ef.
oIoan 17, 4 77 o I roddi gwybodaeth iechydwriaeth i'w bobl ef
Sal. 32, 1 gan faddeu eu pechodau.
pMal. 4, 2 78 p O herwydd tiriondeb trugaredd ein Duw, trwy'r
hon yr ymwelodd â ni godiad haul o'i uchelder:
qIoan 1, 4 79 q I lewrchu i'r rhai sy yn eistedd mewn tywyll-
1Sam. 2, 9 wch a chysgod angeu, i gyfeirio ein traed i ffordd
tangneddyf.
80 A'r bachgen a gynnyddodd, ac a gryfhawyd yn
yr ysprydd, ac a fu yn y diffaethwch hyd y dydd yr ym-
ddangosodd efe i'r Israel.

## PEN. II.

*Genedigaeth Crist, 21 a'i enwaidiad, 25 prophwydoliaeth Simeon, ac Anna am dano ef, 46 Yntef yn ymresymmu â'r Doctoriad yn Ierusalem yn ddeuddec oed.*

BU hefyd yn y dyddiau hynny fyned gorchymmyn
allan oddiwrth Augustus Cæsar i drethu yr holl
fyd.
2 (A'r trethiad ymma, a wnaethbwyd gyntaf pan
oedd Cyrenius yn rhaglaw ar Syria.)
3 A phawb a aethant i'w trethu bob un i'w ddinas ei
hun.
r1Sam. 17 12 4 r Ac aeth Ioseph o Galilæa o dref Nazareth i Iudæa,
Ioan 7, 41 i dref Dafydd yr hon a elwir Bethlehem (am ei fod o
dŷ, a thylwyth Dafydd).
s Mat. 1, 20 5 s I'w drethu gyd â Mair, yr hon a ddyweddiesid
yn wraig iddo, yr hon oedd yn feichiog.
6 A bu tra'r oeddynt hwy yno, gyflawni ei dyddiau
hi i escor.
7 t Ac hi a escorodd ar ei mab cyntaf-anedic, ac a'i tGen. 49, 5
rhwymodd ef mewn cadachau, ac a'i rhoddes yn y Marc 8, 20
preseb, am nad oedd iddynt le yn y lletty.
8 u Ac yr oedd yn y wlad hono fugeiliaid yn gor- Sal. 23, 6
wedd * allan, ac yn gwilied eu praidd liw nos. uRhuf. 12, 5
9 v Ac wele angel yr Arglwydd a safodd ger llaw * Tybygol mai
iddynt, a gogoniant yr Arglwydd a ddiscleiriodd o'u aid y gauaf ydoedd.
hamgylch, ac ofni yn ddirfawr a wnaethant.
10 w Yna yr angel a ddywedodd wrthynt, Nac Diar. 27, 25
ofnwch, canys yr wyf yn mynegu i chwi lawenydd v1Cor. 1, 27
mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl:
11 x Geni i chwi heddyw geidwad, yn ninas Dafydd: Mat. 11, 25
yr hwn ydyw Crist yr Arglwydd. wMat. 1, 21
12 A hyn [fydd] arwydd i chwi, Chwi a gewch y dyn Act. 4, 12
bach wedi ei rwymo mewn cadachau a'i roddi yn y xEsa. 9, 6
preseb. Sal. 2, 2
13 Ac yn ddisymmwth yr oedd gyd â'r angel nifeiri
mawr o luoedd nefol yn moliannu Duw, gan ddy-
wedyd,
14 y Gogoniant i Dduw yn yr uchelder, a thang- yPen. 19, 38
nefydd ar y ddaiar, ac i ddynion ewyllys da. Eph. 2, 14
15 z Ac wedi darfod i'r angelion fyned oddi wrthynt Mat. 11, 26
i'r nefoedd, yna y bugeiliaid a ddywedasant wrth eu Eph. 1, 5
gilydd, Awn hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hyn a z Salm 111, 2
ddangosodd yr Arglwydd i ni.
16 a A hwynt a ddaethant ar frys, ac a gawsant Mair, Act 17, 11
ac Ioseph: a'r dyn bach yn gorwedd yn y preseb. Ex. 3, 3
17 b Pan welsant, hwynt hwy a gyhoeddasant yr hyn a Salm 119, 60
a ddywedasid wrthynt am y bachgen hwnnw. bIoan 4, 28, 29
18 A phawb ar a'u clywsant, a ryfeddasant am y peth- Mat. 9, 10
au a ddywedase y bugeiliaid iddynt.
19 Eithr Mair a gadwodd y pethau hyn oll gan eu
hystyried hwynt yn ei chalon.
20 A'r bugeiliaid a ddychwelasant gan ogoneddu a
moliannu Duw, am bob peth a'r a glywsent, ac a
welsent, fel y dywedasid iddynt.
21 c A phan ddaeth yr wythfed dydd i enwaedu ar y cPhil. 3, 7
bachgen, galwyd ei enw ef IESU, yr hwn a henwasid Col. 2, 11
gan yr angel cyn ei genhedlu ef yn y groth.
22 d Ac wedi cyflawni dyddiau puredigaeth [Mair,] dLef. 12, 5, 6
on ol deddf Moses, hwynt a'i dugasant ef i Ierusalem 1Sam. 1, 24
i'w gyflwyno i'r Arglwydd,
23 e (Fel yr scrifennir yn neddf yr Arglwydd, Pob eEx. 13, 2
gwryw cyntafanedic a elwir yn sanctaidd i'r Arglwydd,
24 f Ac i roddi offrwm, yn ol yr hyn a ddywedir yn fLef. 12, 2
neddf yr Arglwydd, Pâr o ddurturod neu ddau gyw 6 a 5, 7
colommen.
25 Ac wele yr oedd gwr yn Ierusalem a'i enw Simeon,
hwnnw oedd wr cyfiawn a duwiol, ac yn disgwil am
ddiddanwch yr Israel, a'r Ysbrŷd Glân oedd arno.
26 Ac yr oeddid wedi ei rybuddio gan yr Ysbryd
Glan Na wele efe angau cyn iddo weled Crist yr Ar-
glwydd.
27 g Efe a ddaeth trwy 'r Ysbryd i'r Deml, a phan gHeb. 7, 3
ddug ei rieni y bachgen Iesu, i wneuthur trosto yn ol hPhil. 1, 23
defod y gyfraith:
28 Efe a'i cymmerth ef yn ei freichiau, ac a folian- 1Cor. 15, 54, 55
odd Dduw, gan ddywedyd, 2 Tim. 2, 6
29 h Yr awran y gollyngi dy was mewn tangneddyf,
O Arglwydd, yn ol dy air, Act. 4, 12
30 i Canys fy llygaid a welsant dy iechydwriaeth, j Eph. 2, 14
31 j Yr hon a baratoaist yngŵydd yr holl bobloedd, Rhuf. 9, 5
32 k Goleuni i ddywynnu i'r cenhedloedd, a gogon- k Esa. 42, 6
iant dy bobl Israel. Ioan 1, 5 Eph. 1, 13

l1Tim. 3 33 l A rhyfeddu a wnaeth Ioseph a'i fam ef, am y
16 Act10,11 pethau a ddywedwyd am dano ef.
mEsa. 8, 34 m A Simeon a'i bendithiodd hwynt, ac a ddywed-
14 Rhuf. 9, odd wrth Fair ei fam ef, Wele hwn a osodwyd yn
33 gwymp ac yn gyfodiad i lawer yn Israel, ac yn arwydd
i ddywedyd yn ei erbyn.
nIoan19, 35 n (A thrwy dy enaid di dy hun yr aiff y cleddyf)
25 1Cor. 11, i ddadcuddio meddyliau llawer o galonnau.
19 36 o Ac yr oedd Anna brophwydes merch Phanuel o
oSalm92 llwyth Aser; hon oedd oedranus iawn, wedi iddi fyw
14 gyd â gwr saith mlynedd, o'i morwyndod:
p1Cron. 37 p Ac yn weddw ynghylch pedair a phedwar ugain
23, 11 mhlynedd; yr hon nid ae allan o'r Deml, gan wasan-
aethu [Duw] mewn ymprydiau a gweddïau dydd a nos.
38 A hon hefyd yn yr awr honno gan sefyll ger llaw
a gyd-foliannodd yr Arglwydd, ac a lefarodd am dano
ef wrth y rhai oll oeddynt yn Ierusalem yn edrych
am ymwared.
39 Ac wedi iddynt orphen pob peth yn ol deddf yr
Arglwydd, dychwelasant i Galilæa i'w dinas Nazareth.
40 A'r bachgen a gynyddodd, ac a gryfhaodd yn yr
Yspryd, yn llawn doethineb; a gras Duw oedd gyd
ag ef.
qDeut16 41 q A'i rieni ef a aent i Ierusalem bob blwyddyn ar
1 1Sam.1,3 wyl y Pasc.
7 42 Pan oedd efe yn ddeuddeng mlwydd oed, hwynt
hwy a aethant i fynu i Ierusalem yn ol defod yr wyl,
43 Wedi gorphen y dyddiau a hwynt yn dychwelyd,
arhosodd y bachgen Iesu yn Ierusalem; yr hwn beth
ni wydde Ioseph na'i fam ef.
44 Eithr gan dybied ei fod efe yn y fintai, myned a
wnaethant daith diwrnod, ac hwy a'i ceisiasant ef ym
mhlith eu cenedl a'i cydnabod.
45 A phryd na chawsant ef, hwynt a ddychwelasant
i Ierusalem, gan ei geisio ef.
46 A bu yn ol tri-diau gael o honynt hwy ef yn y
Deml yn eistedd yng-hanol y doctoriaid yn gwrando
arnynt, ac yn eu holi hwynt.
47 A synu a wnaeth pawb a'r a'i clywsant ef, am ei
ddoethineb a'i attebion.
r Pen. 3, 48 r A phan welsant ef rhyfeddu a wnaethant, a'i
23 Phil. 4,8 fam a ddywedodd wrtho, Fy mab pa ham y gwnaethost
felly â ni? wele dy dad a minne yn ofidus a'th geisias-
om di.
sSalm40, 49 s Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham y ceisiech
8 Mat. 10, fi? oni wyddech fod yn rhaid i mi fod yng-hylch y
37 pethau a berthynant i'm Tad?
Ioan 4,34 50 Eithr hwynt ni ddeallasant y geiriau a ddywed-
odd efe wrthynt.
tMarc 6, 51 t Yna yr aeth efe i wared gyd â hwynt, ac y daeth
3 Mat 3,15 i Nazareth, ac a fu ufudd iddynt.
Eph. 6,1 52 u A'i fam ef a gadwodd yr holl bethau hyn yn ei
1Eph. 2, chalon.
1 53 A'r Iesu a gynnyddodd mewn doethineb, a chor-
pholaeth, a ffafor, gyd â Duw a dynion.

## PEN. III.

*Pregeth Ioan. 21 Bedyddiad Crist a'i achau.*

vMat.14, YN v y bymthecfed flwyddyn o ymerodraeth Ti-
berius Cæsar, a Phontius Pilatus yn rhaglaw
Iudea, a Herod yn Detrarch Galilæa, a'i frawd Philip
yn Detrarch Ituræa a gwlad Trachonitis, a Lysanas
yn Detrarch Abilene,
wMat.3, 2 Tan yr arch-offeiriad Annas a Chaiphas y daeth
Marc 1,4 gair Duw at Ioan fab Zacharias yn y diffaethwch.
Rhuf. 3, 3 w Ac efe a ddaeth i bob goror yng-hylch yr Ior-
1 ddonen gan bregethu bedydd edifeirwch er maddeu-
ant pechodau:
4 x Fel y mae yn scrifenedic yn llyfr ymadroddion xEsa.40,
Esaias y prophwyd yr hwn sydd yn dywedyd, Llef un 3 Ioan 1,23
yn llefain y diffaethwch, Paratoiwch ffordd yr Argl- Mal. 3,1,
wydd, iniawnwch ei lwybrau ef. 8
5 y Pôb pant a lenwir, a phôb mynydd a bryn a os- y1Pedr5
tyngir, a'r gwyrgeimion a wneir yn iniawn, a'r geir- 5 Esa. 66,
won yn ffyrdd gwastad. 22
6 A phôb cnawd a wel iechydwriaeth Duw.
7 z Ac efe a ddywedodd wrth y bobl a ddeuent iw z1Tim.2,
bedyddio ganddo: Oh genhedlaethau gwiberod, pwy 20 1Thes. 1,
a'ch rhagrybuddiodd chwi i ffoi oddi wrth y digofaint 10
sydd ar ddyfod?
8 a Dygwch am hynny ffrwyth addas i edifeirwch: aCol. 1,6
ac na ddechreuwch ddywedyd ynoch eich hunain, Y Phil.1,11
mae Abraham yn dad i ni: canys yr ydwyf yn dywed-
yd i chwi, y gall Duw o'r cerrig hyn godi plant i
Abraham.
9 b Yr awran y mae'r fwyall wedi ei gosod ar wraidd bIer. 46,
y prennau: pob pren am hynny a'r ni ddwg ffrwyth 22, 23 Dat. 2,16
da a gymmynir i lawr, ac a fwrir yn tân. Act. 17,
10 Yna y gofynodd y bobl iddo gan ddywedyd, Pa 30,31
beth gan hynny a wnawn ni?
11 c Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Y c Iago 2,
neb sydd ganddo ddwy bais, rhodded i'r neb sydd heb 15
yr un; a'r neb sydd ganddo fwyd gwnaed yr un modd: 1 Ioan 3, 17
12 A'r Publicanod hefyd a ddaethant i'w bedyddio, 1Cor. 13,
ac a ddywedasant wrtho, Yr athro, beth a wnawn ni? 1 Iago1,27
13 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na ofynwch ddim Ioan 13,
mwy nag sydd wedi ei osod i chwi. 35
14 A'r milwyr hefyd a ofynnasant iddo ef, gan ddy-
wedyd, A pha beth a wnawn ninnau? ac efe a ddy-
wedodd wrthynt, Na fyddwch draws wrth neb, ac na
cham-achwynwch ar neb, a byddwch fodlon i'ch
cyflog.
15 d Fel yr oedd y bobl yn disgwil, a phawb yn me- dAct. 14,
ddylied yn eu calonnau am Ioan, ai efe oedd y Crist: 12, 13, 19 Ioan 1,19
16 e Yna'r attebodd Ioan gan ddywedyd wrthynt oll, e Act. 3,
Myfi yn ddiau wyf yn eich bedyddio chwi â dwfr, ond 12 1Cor. 4,1
y mae un sydd gryfach na myfi yn dyfod, yr hwn nid a 3,5,7
wyf fi deilwng i ddattod carrei ei escid; efe a'ch be-
dyddia chwi â'r Yspryd Glân ac â thân.
17 f Yr hwn y mae ei wyntill yn ei law, ac efe a f Mat.3,
lanhâ ei lawr dyrnu, ac a gasgl ei wenith i'w scubor, 12 a 25, 32
a'r us a lysc efe â thân anniffoddadwy.
18 A llawer o bethau eraill a gynghorodd efe, ac a
bregethodd i'r bobl.
19 g Herod y Tetrarch pan geryddwyd ganddo ef am gMat.14,
Herodias gwraig Philip ei frawd, ac am yr holl ddryg- 3
ioni a wnaeth efe,
20 h A chwanegodd hefyd heblaw'r cwbl roi Ioan hMat. 25
yng-harchar. 32
21 i A bu, pan oeddyd yn bedyddio yr holl bobl, a'r i Mat. 3,
Iesu yn ei fedyddio hefyd, ac yn gweddio, agoryd o'r 13
nef,
22 j A'r Yspryd Glân a ddescynodd mewn rhith j Mat. 3,
corphorawl megis colommen arno ef, a llef o'r nef yn 17
dywedyd, Ti yw fy anwyl Fab, ynot ti i'm boddlon-
wyd.
23 k A'r Iesu ei hun oedd yng-hylch dechreu ei kGen.41,
ddeng mlwydd ar hugain oed, mab (fel y tybid) i 46
Ioseph [fab] Eli,
24 [Fab] Matthat [fab] Lefi, [fab] Melchi, [fab]
Ianna, [fab] Ioseph,

25 [Fab] Matthathias, [fab] Amos, [fab] Naum, [fab] Esli, [fab] Naggai,

26 [Fab] Maath, [fab] Matthathias, [fab] Semei, [fab] Ioseph, [fab] Iuda.

27 [Fab] Ioanna, [fab] Rhesa,* [fab] Zorobabel, [fab] Salathiel, [fab] Neri,

28 [Fab] Melchi, [fab] Adi, [fab] Cosam, [fab] Elmodam, [fab] Er,

29 [Fab] Iose, [fab] Eliazer, [fab] Iorim, [fab] Matthat, [fab] Lefi,

30 [Fab] Simeon, [fab] Iuda, [fab] Ioseph, [fab] Ionan, [fab] Eliacim,

31 [Fab] Melea, [fab] Mainan, [fab] Mattatha, [fab] Nathan, [fab] Dafydd,

32 [Fab] Iesse, [fab] Obed, [fab] Booz, [fab] Salmon, [fab] Naason,

33 [Fab] Aminadab, [fab] Aram, [fab] Esron, [fab] Phares, [fab] Iuda,

34 [Fab] Iacob, [fab] Isaac, [fab] Abraham, [fab] Thara, [fab] Nachor,

*Y14 hyn o Ioseph i Resa, oeddynt deidiau naturiol i Grist, ond Abihud, mab arall i Zorobabel, a'r lleill, Mat. 1, 13, 14 oeddynt geraint a theidiau iddo, trwy hawl llywodraeth.

35 [Fab] Seruch, [fab] Ragau, [fab] Phalec, [fab] Heber, [fab] Sala,

36 [Fab] Cainan,† [fab] Arphaxad, [fab] Sem, [fab] Noe, [fab] Lamech,

37 [Fab] Mathusala, [fab] Enoch, [fab] Iarad, [fab] Maleleel, [fab] Cainan,

38 l [Fab] Enos, [fab] Seth, [fab] Adda, [fab] Duw.

†Ni sonir am hwn yn Gen. 10, 24 a 11, 12. ond yn y cyfieithad Groeg yn unig. Tybia rhai i Arphaxad genhedlu Sala o'i fab Cainan,

l 1 Cron. 2, 5; 1 Gen. 1, 26

## PEN. IV.

*Crist yn cael ei demtio,* 14. *yn pregethu yn Galilæa,* 16. *yn Nazareth;* 30. *ac yn Capernaum yn iachau chwegr Petr,* 41. *ac yn bwrw allan gythreuliaid heb adel iddynt ei gyfaddef ef.*

A'R m Iesu yn llawn o'r Yspryd Glân a ddychwelodd oddi wrth yr Iorddonen, ac a yrrwyd gan yr yspryd i'r anialwch

2 n Ddeugain nhiwrnod, a diafol yn ei demtio, ac ni fwytaodd ef ddim o fewn y dyddiau hyny: eithr wedi eu diweddu hwynt, daeth arno chwant bwyd.

3 Yna y dywedodd diafol wrtho, Os mab Duw ydwyt, dywet wrth y garreg hon am fyned yn fara.

4 o A'r Iesu a attebodd iddo, gan ddywedyd, Scrifenedic yw, Nid ar fara yn unic y bydd dyn fyw, ond ar bob gair Duw.

5 p Yna wedi i ddiafol ei ddwyn ef i fynydd uchel, efe a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y ddaiar, mewn munyd awr:

6 q A diafol a ddywedodd wrtho, I ti y rhoddaf yr awdurdod hon oll, a'u gogoniant hwynt, canys i mi y rhoddwyd, ac i bwy bynnag y mynnwyf y rhoddaf finne hi.

7 Felly os ti a addoli o'm blaen, eiddo ti a fyddant oll.

8 r A'r Iesu a attebodd, gan ddywedyd, Dos ymaith Satan ar fy ol; canys scrifennedic yw, addoli yr Arglwydd dy Dduw, ac ef yn unic a wasanaethi.

9 s Yna y dug ef i Ierusalem, ac a'i gosodes ar binacl y deml, ac a ddywedodd wrtho, Os Mab Duw ydwyt, bwrw dy hun i lawr oddi ymma,

10 t Canys scrifennedic yw, y gorchymyn efe i'w angelion o'th achos di, ar dy gadw di,

11 u Ac yn eu dwylo y cyfodant di, fel na tharawech dy droed un amser wrth garreg.

12 v A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, ddywedyd, Na themptia yr Arglwydd dy Dduw.

13 Ac wedi i ddiafol orphen yr holl demptasiwn, efe a ymadawodd ag ef tros amser.

m Mat. 4, 1; n Heb 14, 15; o Deut. 8, 3; p 1 Ioan 2, 16; q Ioan 8, 44; r Deut. 9, 10; s Act. 14, 19; t Sal. 91, 11; u 2 Cor. 3, 9; v Deut. 6, 19

14 w A'r Iesu a ddychwelodd trwy nerth yr Yspryd i Galilæa, a son a aeth am dano ef trwy yr holl fro oddi amgylch.

15 x Ac yr oedd efe yn dyscu yn eu synagogau hwynt, ac yn cael anrhydedd gan bawb.

16 y Ac efe a ddaeth i Nazareth lle y magesid ef, ac (yn ol ei arfer) efe a aeth i'r Synagog ar y dydd Sabboth, ac a safodd i fynu i ddarllen.

17 z Yna y rhoed atto lyfr y prophwyd Esaias, ac wedi iddo agoryd y llyfr, y cafodd y lle yr scrifennid,

18 a Yspryd yr Arglwydd arnafi, o achos yr hwn yr enneiniodd fi; fel yr efengylwn i'r tlodion yr anfonodd fi i iachau y drylliedig o galon, i bregethu gollyngdod i'r caethion, caffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb,

19 b I bregethu blwyddyn gymmeradwy 'r Arglwydd.

20 c Ac wedi iddo gaeu'r llyfr a'i roddi i'r gweinidog yr eisteddodd: a llygaid pawb oll yn y Synagog oeddynt yn craffu arno.

21 Ac efe a ddechreuodd ddywedyd wrthynt: Heddyw y cyflawnyd yr scrythyr hon yn eich clustiau chwi.

22 d Ac yr oedd pawb yn dwyn testiolaeth iddo: ac yr oeddynt yn rhyfeddu am y geiriau grasusol a ddaeth allan o'i enau ef, gan ddywedyd, Onid hwn yw mab Ioseph?

23 e Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn hollawl y dywedwch y ddihareb hon wrthif: Y meddig iachâ di dy hun; y pethau a glywsom i ti eu gwneuthur yn Capernaum, gwna ymma yn dy wlad dy hun.

24 f A dywedodd yntef, Yn wir meddaf i chwi, nad yw un prophwyd yn gymmeradwy yn ei wlad ei hun.

25 g Eithr mewn gwirionedd meddaf i chwi, llawer o wragedd gweddwon yn nyddiau Elias oeddynt yn Israel, pan gaewyd y nef dair blynedd a chwe mis, hyd pan oedd newyn mawr tros yr holl dir:

26 Ac nid at yr un o honynt yr anfonwyd Elias, ond i Sarepta yn Sidon, at wraig weddw.

27 h A llawer o wahan-gleifion oeddynt yn Israel yn amser Eliseus y prophwyd; ac ni lanhawyd yr un o honynt ond Naaman y Syriad.

28 i Yna y llanwyd hwynt oll o ddigofaint yn y Synagog, pan glywsant y pethau hyn.

29 A chan godi i fynu hwynt hwy a'i bwriasant ef allan o'r ddinas, ac ai dugasant hyd ar ael y bryn yr adeiladasid eu dinas arno, ar fedr ei fwrw ef bedromwnwgl i lawr.

30 j Yntef gan fyned trwy eu canol hwynt a aeth ymmaith.

31 Ac efe a ddaeth i wared i Capernaum dinas Galilæa, ac yno y dyscodd efe hwynt ar y dyddiau Sabboth.

32 k A rhyfeddu a wnaethant wrth ei athrawiaeth ef, canys ei ymadrodd ef oedd gyd ag awdurdod.

33 l Ac yr oedd yn y synagog ddyn a chanddo yspryd cythreul aflan, yr hwn a waeddodd â llef uchel,

34 m Gan ddywedyd, O beth [sydd] i ni â thi Iesu o Nazareth? a ddaethost di i'n difetha ni? myfi a wn pwy ydwyt ti, [sef] Sanct Duw:

35 n A'r Iesu a'i ceryddodd gan ddywedyd, Distawa, a dos allan o honaw; yna y cythrael wedi ei dafu ef yn eu canol, a aeth allan o honaw, heb wneuthur dim niwed iddo.

36 A daeth ofn arnynt oll, a hwynt a ymddiddanent wrth eu gilydd, gan ddywedyd, Pa beth yw hyn, gan

w 2 Tim. 1, 7; x Mat. 4, 23; y Mat. 13, 54; Act. 13, 15 a 15, 21; z Act. 13, 15; Esa. 42, 7 a 61, 1; a 2 Pedr 1, 20; b Lef. 25, 8; c Act. 13, 16; d Ioan 1, 14; e Iago 5, 17; Marc 6, 1; f Mat. 13, 57; Ioan 4, 44; g 1 Bren. 17, 9, 11; 1 Bren. 8, 35; Iago 5, 17; h 2 Bren. 5, 14; i Act. 22, 22; j Ioan 7, 30; k Mat. 7, 28; Act. 56, 23; l 1 Cor. 2, 4; Mat. 7, 29; 1 Marc 1, 23; m Ioan 10, 35; n Act. 16, 18; Marc 1, 25

ei fod efe trwy awdurdod a nerth yn gorchymyn yr
ysprydion aflan, a hwynt yn myned allan?
37 A son a aeth am dano ym mhob man yn y wlad
o amgylch.
38 Pan gyfododd [yr Iesu] o'r Synagog yr aeth i
mewn i dŷ Simon, ac yr oedd chwegr Simon yn glaf
o grŷd blin, a hwynt hwy a ymbiliasant ag ef trosti
hi.
oMarc 1, 39 ° Yna y safodd efe uwch ei phen hi, ac efe a ger-
9 yddodd y crŷd, ac efe a'i gadawodd hi, ac yn y fan
y cyfodes hi, ac a wasanaethodd arnynt hwy.
pMat. 8, 40 p Pan fachludodd yr haul, pawb a'r oeddynt
16 ganddynt rai cleifion o amryw glwyfau, a'u dygasant
hwynt atto ef, ac efe gan roi ei ddwylo ar bob un o
honynt a'u hiachaodd hwynt.
qIago 2, 41 q A chythreuliaid a aethant allan o lawer dann
19 lefain a dywedyd: Ti yw Crist Mab Duw, eithr efe
Marc 1, a'i ceryddodd hwynt, ac ni adawe iddynt ddywedyd,
24 Y gwyddent mai efe oedd Crist.
42 A phan aeth hi yn ddydd yr aeth efe oddi yno
ymmaith i'r diffaethwch, a'r bobl a'i ceisiasant ef, ac
hwy a ddaethant atto, ac ai hattaliasant ef rhag myn-
ed ymmaith oddi wrthynt hwy.
r2Tim.4, 43 r Yna y dywedodd efe wrthynt, Yn wir y mae
2 Act 10,38 yn rhaid i mi bregethu teyrnas Dduw i ddinasoedd
1Tim.3,1 eraill, canys i hyn i'm danfonwyd.
44 Ac efe a bregethodd yn Synagogau Galilæa.

## PEN. V.

*Crist wedi dysgu'r bobl o'r llong yn peri helfa fawr o bysgod.*
*12. Yn iachau un gwahan-glwyfus. 18. Ac un claf o'r*
*parlys. 27. Yn galw Lefi. 33. Ac yn dangos pa ham*
*nad ymprydiase ei ddyscyblion ef y pryd hynny.*

sMat. 11, BU s hefyd a'r bobl yn pwyso atto i wrando gair
1; a 9, 36 Duw, ac efe yn sefyll yn ymyl Genezaret,
Act 16 13 2 Weled o honaw ddwy long yn sefyll wrth y llynn,
Mat 4,18 ar pyscod-wyr a aethant allan o honynt, ac oeddynt
a 13, 34 yn golchi eu rhwydau.
3 Wedi iddo fyned i mewn i un o'r llongau, yr hon
oedd eiddo Simon, efe a ddymunodd arno ei gyrru hi
ychydig oddiwrth y tir, wedi iddo eistedd, efe a
ddyscodd y bobl o'r llong.
4 Pan beidiodd â llefaru efe a ddywedodd wrth Si-
mon, Gyrr i'r dwfn, a bwriwch eich rhwydau am
helfa.
tIoan21,3 5 t Yna yr attebodd Simon, a dywedodd wrtho,
O feistr, er i ni boeni ar hyd y nos, ni ddaliasom ni ddim:
er hynny ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd.
uIoan 21, 6 u Ac wedi iddynt wneuthur hyn, hwynt hwy a
11 ddaliasant liaws mawr o byscod, a rhwygodd eu rhwyd
hwynt,
vRhuf 16 7 v A hwynt a amneidiasant ar eu cyfeillion, y rhai
3 oeddynt yn y llong arall, fel y gallent ddyfod i'w
Philem. cynnorthwyo hwynt; ac hwynt hwy a ddaethant, ac
1 Phil. 4,3 a lanwasant y ddwy long onid oeddynt yn soddi.
8 Pan welodd Simon Petr hyn, efe a syrthiodd wrth
liniau'r Iesu, gan ddywedyd, Arglwydd, dos ymmaith
oddi wrthif, canys dyn pechadurus wyfi.
9 O blegit braw a ddaethe arno, ac ar y rhai oll
oeddynt gyd ag ef, am yr helfa byscod a ddaliasent
wMat. 13 hwy.
47 10 w Felly hefyd ar Iaco ac Ioan, meibion Zebedeus,
2 Tim. 2, cymdeithion Simon. Yna y dywedodd yr Iesu wrth
26 Simon, Nac ofna, o hyn allan y deli ddynion.
xMat. 4, 11 x A phan ddugasant y llongau i'r tir, hwynt hwy
20 Salm 78, a adawsant bob peth, ac ai dilynasant ef.
70, 71

12 y Ac fel yr oedd efe mewn rhyw ddinas, wele wr yMat.8,2
yn llawn o'r gwahan-glwyf, a phan welodd efe yr Iesu,
efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ymbiliodd ag ef, gan
ddywedyd, O Arglwydd, os ewyllyssi di, ti a elli fyng-
lanhau.
13 z Ac yntef gan estyn ei law a'i cyffyrddodd ef, gan zHeb. 4,
ddywedyd, Yr wyf yn ewyllysio, bydd lân: ac yn eb- 15
rwydd y gwahan-glwyf ai gadawodd ef.
14 a Ac efe a orchymynnodd iddo na ddywede i neb, aMat.11,
eithr dos (eb efe) ac ymddangos i'r offeiriad, ac off- 4
rwm tros dy lanhâd fel y gorchymynnodd Moses yn
destiolaeth iddynt.
15 A'r gair a aeth fwy-fwy am dano ar lêd, a llawer
o bobl a ddaethant yng-hyd iw wrando, ac i gael iech-
yd o'u glefydau.
16 b Yntef oedd yn cilio o'r nailltu yn y diffaethwch, bMat. 6,
ac yn gweddio. 6
17 A bu ar ddiwrnod fel yr oedd efe yn athrawiaethu,
fod o'r Pharisæaid a doctoriaid y gyfraeth yn eistedd
yno, y rhai a ddaethent, o bob tref yn Galilæa, ac
Iudæa, ac o Ierusalem: ac yr oedd gallu'r Arglwydd
iw hiachau hwynt.
18 c Ac wele rhai yn dwyn dyn mewn gwely, yr cMarc 2,
hwn oedd glaf o'r parlys: a hwynt a geisiasant ei 3
ddwyn ef i mewn a'i ddodi ger ei fron ef.
19 d A phryd na chawsant ffordd iw ddwyn ef i mewn dMarc 2,
gan y bobl, hwynt hwy a ddringasant ar y tŷ, ac a'i 4
gollyngasant ef yn y gwely i'r llawr yn y canol trwy 'r
pridd-lechau ger bron yr Iesu.
20 e A phan weles efe eu ffydd hwynt, efe a ddywed- e Ioan 5,
odd, Y dyn maddeuwyd i ti dy bechodau. 14
21 f Yna y dechreuodd yr scrifennyddion a'r Phar- f Lef.24,
isæaid ymresymmu gan ddywedyd, Pwy yw hwn sydd 11
yn dywedyd cabledd? pwy a ddichon faddeu pech-
odau, ond Duw yn unic?
22 Pan wybu 'r Iesu eu hymresymmiad hwynt, efe a
attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Pa resymmu yn
eich calonnau yr ydych?
23 Pa un haws ai dywedyd Maddeuwyd i ti dy bech-
odau, ai dywedyd, Cyfot a rhodia?
24 g Ac fel y gwybyddoch fod i Fab y dyn awdurdod gHeb. 1,
ar y ddaiar i faddeu pechodau, (ebr efe wrth y claf o'r 2
parlys) Yr wyf yn dywedyd wrthyt, Cyfot cymmer Col. 1,17
dy wely, dos i'th dŷ.
25 Ac yn y man y cyfodes efe i fynu yn eu gŵydd
hwynt, ac efe a gymmerth yr hyn y gorwedde arno,
ac a aeth ymmaith iw dŷ ei hun, gan ogoneddu Duw.
26 h A syndod a ddaeth ar bawb: a hwynt a folianas- h Act. 5,
ant Dduw: ac hwy a lanwyd o ofn, gan ddywedyd, 16
Gwelsom yn ddiau bethau anhygoel heddyw.
27 Yn ol hyn yr aeth efe allan, ac a welodd Bublican
ai enw Lefi, yn eistedd yn y dollfa, ac efe a ddywedodd
wrtho, Dilyn fi.
28 i Ac yntef gan adel y cwbl, a gyfodes i fynu, ac i2Cor.10,
a'i dilynodd ef. 4;5
29 A gwnaeth Lefi iddo wledd fawr yn ei dŷ, lle yr
oedd tyrfa fawr o Bublicanod; ac eraill y rhai oeddynt
yn eistedd gyd â hwynt ar y bwrdd.
30 j A'r sawl o honynt oedd scrifennyddion a Pharis- jMat.23,
æaid a furmurasant yn erbyn ei ddiscyblion ef, gan 23
ddywedyd, Pa ham yr ydych chwi yn bwyta, ac yn
yfed gyd â'r Publicanod a'r pechaduriaid?
31 k A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, Nid rhaid kPen. 18
i'r rhai iach wrth feddig, ond i'r rhai cleifion: 11
32 l Ni ddaethum i alw 'r cyfiawn, ond pechaduriaid lTit.2,11

i edifeirwch.
33 Yna y dywedasant wrtho, Pa ham y mae discybl-
ion Ioan yn ymprydio yn fynych, ac yn gweddio, a
discyblion y Pharisæaid hefyd, a'r eiddot ti yn bwyta
ac yn yfed?
m Ioan 3, 29 34 m Yntef a ddywedodd wrthynt, A ellwch chwi
2 Cor. 11, 2 beri i blant yr stafell briodas ymprydio, tra fyddo 'r
priod-fab gyd â hwynt?
n Mat. 17, 23 a 26, 20 35 n Y dyddiau a ddeuant hefyd pan dynner y priod-
fab oddi wrthynt, ac yna yr ymprydiant yn y dydd-
iau hynny.
o Marc 4, 33 Ioan 16, 12 36 o Ac efe a ddywedodd wrthynt ar ddammeg: ni
rydd neb lain o wisc newydd mewn hen wisc: canys
yna y newydd a'i rhwyg, a'r llain o'r newydd ni
chyduna â'r hen.
37 Ac nid yw neb yn bwrw gwin newydd i hen
gostrelau, canys yna y dryllia 'r gwin newydd y cost-
relau, ac y rhed efe allan, a'r costrelau a gollir.
38 Eithr gwin newydd sydd i'w fwrw mewn costrel-
au newyddion, a phob un a gedwir.
39 Hefyd nid oes neb a ŷf win hen, ac yn y fan a
gais y newydd, canys dywed, Gwell yw 'r hen.

## PEN. VI.

*Crist yn escusodi ei ddiscyblion am dynnu y tywys ŷd ar y Sabboth, 12 Yn gweddio mewn mynydd, ac yn dewis ei ddeuddec Apostol, 20 Ac yn dangos gwynfyd y duwiol, a'r gwae a ddaw i'r annuwiol.*

p Rhuf 12, 17 ABU p ar yr ail prif Sabboth, fyned o honaw trwy
'r ŷd, a thynnu o'r discyblion y tywys a'u bwyta
wedi ei rhwbio â'u dwylo.
q Ioan 18, 28 2 q A rhai o'r Pharisæaid a ddywedasant wrthynt, Pa
ham yr ydych yn gwneuthur y peth nid yw gyfreith-
lawn ei wneuthur ar y Sabbothau?
r Mat. 23, 29 3 r Yna yr attebodd yr Iesu iddynt gan ddywedyd,
Oni ddarllenasoch chwi, y peth a wnaeth Dafydd pan
newynodd, a'r rhai oedd gyd âg ef?
s 1 Sam. 21 5, 6 4 s Fel yr aeth efe i dŷ Dduw, ac y cymmerth y
bara gosod, ac a'i rhoddes hefyd i'r rhai oeddynt
gyd âg ef, yr hwn nid oedd gyfreithlawn i neb ei
fwytta onid i'r offeiriaid yn unic?
t Mat. 12, 8 a 11, 27 5 t A hefyd efe a ddywedodd wrthynt, Mab y dyn
sydd Arglwydd ar y Sabboth hefyd.
6 A bu ar Sabboth arall iddo fyned i mewn i'r Syn-
agog, ac athrawiaethu: ac yno yr oedd dyn a'i law
ddehau wedi diffrwytho.
7 A'r scrifennyddion a'r Pharisæaid a'l disgwyliasant
ef, a iachâe efe ef ar y [dydd] Sabboth, fel y caffent
achwyn yn ei erbyn ef.
8 Eithr efe a wybu eu meddyliau hwynt: ac a ddy-
wedodd wrth y dyn a'r llaw ddiffrwyth, Cyfod, a saf
i fynu yn y canol, ac efe a gyfododd i fynu ac a safodd
u Mat. 12, 17 9 u Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt, Mi a ofynnaf
i chwi beth, Ai cyfreithlawn gwneuthur da ar y dydd
Sabboth, ynte gwneuthur drwg? cadw einioes, ai
lladd?
10 Ac efe a edrychodd arnynt oll oddi amgylch, ac
a ddywedodd wrth y dyn, Estyn dy law, ac efe a
wnaeth felly, a'i law ef a aeth eilwaith mor iach a'r
llall.
v Act. 6, 10, 11 11 v Yna yr 'ymlanwasant hwy o ynfydrwydd, ac yr
ymddiddanasant wrth eu gilydd, Pa beth a wnaent i'r
Iesu.
w Eph. 6, 18 Act. 14, 23 12 w A bu yn y dyddiau hynny fyned o honaw i'r
mynydd i weddio, a bod yno ar hyd y nos yn gweddio
Duw,
13 x A phan aeth hi yn ddydd efe a alwodd ei ddis- x Heb. 5, 4
cyblion, ac o honynt efe a etholes ddeuddec, y rhai a
alwodd efe Apostolion.
14 (Simon yr hwn hefyd a alwodd efe Pedr, ac An-
dreas ei frawd, Iaco, ac Ioan, Philip, a Bartholomew,
15 Matthew a Thomas, Iaco [fab] Alpheus, a Simon
a elwir Zelotes,
16 Iudas brawd Iaco, ac * Iudas Iscariot, yr hwn * Meddwl rhai mai gair Syriaeg yw; ac yn arwyddo DIFFYG, neu DROI YN OL AT ELW, Act. 1, 18, 19. eraill a feddyliant mai cod aarwyddoca, Ioan 12, 6
hefyd a aeth yn fradwr)
17 Yna yr aeth efe i wared gyd â hwynt, ac a safodd
mewn gwastatir gyd â'r dorf o'i ddiscyblion, a lliaws
mawr o bobl o holl Iudæa, ac Ierusalem, ac o duedd
môr Tyrus a Sidon, y rhai a ddaethant i'w glywed ef,
ac i'w hiachau o'u clefydau.
18 A'r rhai a flinasid gan ysprydion aflan, ac a iach-
auesid.
19 y A'r holl dyrfa oedd yn ceisio cyffwrdd ag ef:
am fod rhinwedd yn myned o honaw allan, ac yn iach-
au pawb.
20 Ac efe gan dderchafu ei olygon ar ei ddiscyblion,
a ddywedodd, Gwyn eich byd y tlodion: canys chwi y Marc 5, 30
piau teyrnas Dduw.
21 z Gwyn eich byd yr rhai sy yn newynu yr awran, z Mat. 5, 6
canys chwi a ddigonir. Gwyn eich byd y rhai a ŵyl-
wch yr awran, canys chwi a chwarddwch.
22 a Gwynfydedig fyddwch pan eich casâo dynion, a Ioan 9, 22
a'ch didoli chwi oddi wrthynt, a'ch difenwi, a bwrw
allan i chwi megis drwg enw, er mwyn Mab y dyn:
23 b Byddwch lawen y dydd hwnnw a llemmwch, b Mat. 23, 31
canys wele eich gobr sydd fawr yn y nefoedd: o ble-
git yn yr un ffunyd y gwnaeth eu tadau hwynt i'r pro-
pwydi.
24 c Eithr gwae chwi 'r cyfoethogion, canys derbyn- c Iago 5, 1
iasoch eich diddanwch.
25 Gwae chwi y rhai llawn, canys chwi a newynwch,
gwae chwi y rhai a chwerddwch yr awran, canys
chwi a alerwch, ac a wylwch.
26 d Gwae chwi pan ddywedo pob dyn dda am d Ioan 15, 19
danoch, canys felly y gwnaeth eu tadau hwynt i'r gau Gal. 1, 10
brophwydi.
27 e Ond yr wyf yn dywedyd wrthych chwi y rhai e Rhuf. 12, 20
ydych yn gwrando, cerwch eich gelynion: gwnewch 2 Bren. 6, 22
dda i'r rhai a'ch casânt.
28 f Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant: gwedd- f 1 Pedr 3, 16
iwch tros y rhai a'ch drygant.
29 g Ac i hwn a'th darawo ar y [naill] gern, tro 'r g 1 Cor. 6, 7
llall hefyd: ac i hwn a ddwg ymmaith dy gochl, na
wahardd dy bais.
30 h Dod i bob un a'r a geisio gennit, a chan y neb a h 2 Cor. 8, 12
fyddo yn dwyn na chais yr eiddot ti eilchwel. 1 Cor. 6, 7
31 i Ac fel y mynnech i ddynion wneuthur i chwi: i Mat. 7, 12
felly gwnewch chwithau iddynt hwy.
32 j Canys os cerwch y rhai a'ch carant chwithau, j Mat. 5, 46
pa ddiolch fydd i chwi? oblegid y pechaduriaid a
garant y rhai a'i câr hwythau.
33 Ac os gwnewch dda i'r rhai a wnant dda i chwi-
thau, pa ddiolch fydd i chwi? o blegid y pechaduriaid
a wnant yr un peth.
34 Ac os rhoddwch echwyn i'r rhai yr ydych yn
gobeithio y cewch chwithau ganddynt, pa ddiolch
fydd i chwi? o blegit pechaduriaid i bechaduriaid a
roddant echwyn, er mwyn cael y cyffelyb. k Eph. 5, 1
35 k Eithr, cerwch eich gelynnion, gwnewch dda, a Ioan 1, 12
rhoddwch echwyn, heb obeithio tâl trachefn, a'ch Rhuf. 4, 11
gobr a fydd mawr, a phlant fyddwch i'r Goruchaf: Phil. 2, 15

canys daionus yw efe i'r rhai anniolchgar a drwg.
lMat. 18, 33 36 l Byddwch gan hynny drugarogion, megis y mae
eich Tad yn drugarog.
mMat. 7, 1 a 18, 35 37 m Na fernwch ac ni'ch bernir: na chondemniwch,
ac ni'ch condemnir, maddeuwch a maddeuir i chwi-
thau.
nMat. 7, 2 Iago 3,13 38 n Rhoddwch a rhoddir i chwi: mesur da, dwys-
edig, wedi ei escwyd, ac yn myned trosodd a roddant
yn eich mynwes: canys â'r un mesur y mesuroch y
mesurir i chwi trachefn.
oMat. 15, 14 39 o Ac efe a ddywedodd ddameg wrthynt: A ddich-
on y dall dywyso'r dall? oni syrthiant ill dau yn y
clawdd?
pMat. 10, 24 40 p Nid yw'r dyscybl uwch law ei athro: canys
perffaith a fydd pob un a fyddo fel ei athro.
qSal. 50, 16, 17 Mat. 23, 3 41 p Pa ham y gweli di frycheuyn yn llygad dy
frawd, ac heb ystyried y trawst fyddo yn dy lygad dy
hun?
rTit. 1,16 Salm 41, 12, 13 Mat. 15, 14 42 r Neu pa fodd y gelli di ddywedyd wrth dy frawd,
Fy mrawd, gad i mi dynnu allan y brycheuyn y sydd yn
dy lygad, a thydi heb weled y trawst yr hwn sydd yn
dy lygad dy hun? O ragrithiwr, bwrw allan y trawst
o'th lygad dy hun yn gyntaf, ac yna y gweli yn eglur
dynnu allan y brycheuyn yr hwn sydd yn llygad dy
frawd.
sMat. 7, 16 43 s Nid yw pren da yn dwyn ffrwyth drwg, ac nid
yw y pren drwg yn dwyn ffrwyth da.
Act. 3, 6 1Cor. 12 44 t Pob pren a adweinir wrth ei ffrwyth ei hun,
tMat. 12, 33 canys nid o'r drain y casglant ffigus, nac o berth yr
a 7 16 heliant rawn-win
uMat 12, 35 45 u Y dyn da o ddaionus dryssor ei galon a ddwg
allan ddaioni; a'r dyn drwg o ddrygionus dryssor ei
galon a ddwg allan ddrygioni: canys o gyflawnder y
galon y mae y geneu yn llefaru.
vTit. 1,16 46 v Paham yr ydych yn fyng-alw i Arglwydd, Ar-
glwydd, gan nad ydych yn gwneuthur yr hynn yr wyf
yn ei ddywedyd?
wIago 1, 22 47 w Pwy bynnag a ddel attafi, ac a wrendu fyng-
eiriau, ac a'u gwnelo hwynt, dangosaf i chwi i bwy y
mae efe yn gyffelyb.
Dat. 12, 5 48 x Cyffelyb yw i ddyn yn adeiladu tŷ, yr hwn a
gloddiodd ac a dyllodd, ac a osododd ei sail ar graig;
a phan ddaeth rhyferthwy, y llifeiriant a gurodd ar y
tŷ, ac ni alle ei syflyd am ei fod wedi sailio ar y graig.
Heb. 10, 6 49 y A'r hwn a wrendu ac ni wna, cyffelyb yw i ddyn
a adeilade dŷ ar y ddaiar heb sail, ar yr hwn y curodd
Mat. 11, 1 y llifeiriant, ac yn y fan y syrthiodd, a chwymp y tŷ
hwnnw oedd fawr.

## PEN. VII.

*Crist yn iachau gwas y canwriad. 10. Yn codi o farw i fyw fab gwraig weddw. 20. Yn atteb ac yn canmol Ioan. 37. Ffydd, edifeirwch, a maddeuant Mair Magdalen.*

WEDI iddo orphen ei holl ymadroddion lle y
clywe y bobl, efe a aeth i mewn i Capernaum.
Eph 6,9 2 z A gwas rhyw ganwriad oedd yn glaf ym mron
marw, yr hwn oedd annwyl ganddo ef.
aMat. 8,5 3 a Pan glybu efe am yr Iesu, efe a ddanfonodd atto
henuriaid yr Iddewon, gan attolwg iddo ddyfod ac
iachau ei was.
4 Y rhai pan ddaethant at yr Iesu a attolygasant arno
yn daer, gan ddywedyd, O blegit y mae efe yn haeddu
cael gwneuthur o honot hynn iddo.
Marc4, 5 b Canys (eb hwynt) y mae yn hoff ganddo ein cen-
edl ni, ac efe a adeiladodd i ni Synagog.
Mat. 8,6 6 c A'r Iesu a aeth gyd â hwynt, ac efe heb fod yn
bell oddi wrth y tŷ, y canwriad a anfonodd gyfeillion
atto, gan ddywedyd wrtho, O Arglwydd na phoena,
canys nid wyfi deilwng i ddyfod o honot tann fyng-
hronglwyd.
7 Am hynny ni thybiais fy hun yn deilwng i ddyfod
attat, eithr dywet ti'r gair, ac iach fydd fyng-was.
8 d O blegit dyn wyf finne wedi ei osod tann awdur- dIoan 1,3
dod, a chennif filwyr tanaf, ac meddaf wrth hwn, dos, a 11, 21
ac efe a aiff, ac wrth arall, tyret, ac efe a ddaw, ac wrth
fyng-was, gwna hynn, ac efe a'i gwna.
9 Pan glybu'r Iesu y pethau hyn, rhyfeddu a wnaeth
o'i blegit ef, a throi, a dywedyd wrth y bobl oedd yn
ei ganlyn: Yr ydwyf yn dywedyd i chwi, na chefais
gymaint o ffydd yn Israel.
10 A'r rhai a anfonasid wedi iddynt ddychwelyd
adref a gawsant y gwas a fuase yn glaf, yn holl-iach.
11 e A bu drannoeth iddo fyned i ddinas a elwid eAct. 10, 38
Nain: a llawer o'i ddiscyblion a aethant gyd ag ef, a Ioan 5,35
thyrfa fawr.
12 f Pan ddaeth efe yn agos at borth y ddinas: wele fIoan 19, 41
un marw a ddygid allan, yr hwn oedd unic fab ei
fam, a honno yn weddw, a llawer o bobl y ddinas
oedd gyd â hi.
13 g A phan welodd yr Arglwydd hi, efe a gymmer- gMat. 9, 36
odd drugaredd arni, ac a ddywedodd wrthi, Nac wyla. Barn. 10,
14 h A phan ddaeth yn nes, efe a gyffyrddodd â'r elor, 16
(a'r rhai oedd yn ei ddwyn a safasant) ac efe a ddy- 1Thes. 4 15
wedodd, Y mab ieuangc, yr wyf yn dywedyd wrthit hIoan 11 43
cyfot.
15 i Yna y cyfodes y marw yn ei eistedd, ac efe a iIoan 5, 28
ddechreuodd lefaru: ac efe ai rhoddes iw fam.
16 j Ac ofn a ddaeth arnynt oll, ac hwy a ogonedd- jGal. 1,24
asant Dduw gan ddywedyd, Yn ddiau prophwyd Pen. 1,68
mawr a gyfododd yn ein plith, ac ymwelodd Duw â'i
bobl.
17 A'r gair hwn a aeth allan am danaw tros holl
Iudæa, a thros gwbl o'r wlad oddi amgylch.
18 k A mynegodd ei ddiscyblion i Ioan am hyn oll. kMat. 11 1
19 l Ac wedi i Ioan alw dau o'i ddiscyblion atto, efe l2Cor. 1, 31
a'u gyrodd hwynt at yr Iesu; gan ddywedyd, Ai tydi
yw'r hwn sydd ar ddyfod, ai arall a ddysgwiliwn? Mat. 3,15
20 m A phan ddaeth y gwŷr atto, hwynt hwy a ddy- m Rhuf. 15, 8
wedasant, Ioan Fedyddiwr a'n hanfonodd ni attat ti,
gan ddywedyd, Ai ti yw'r hwn sydd ar ddyfod, ai arall
a ddisgwiliwn?
21 A'r awr honno efe a iachaodd lawer oddi wrth
glefydau a phlauau, ac ysprydion drwg: ac i lawer o
ddeillion y rhoddes efe eu golwg.
22 n A'r Iesu a attebodd gan ddywedyd wrthynt, nEsa. 35, 5
Ewch ymmaith a mynegwch i Ioan y pethau a welsoch, Mat. 11,4
ac a glywsoch, fod y deilliaid yn cael eu golwg, y
cloffion yn rhodio, y gwahan-glefion yn eu glanhau,
y byddariaid yn clywed, y meirw yn cyfodi, a'r tlod-
ion yn derbyn yr Efengyl.
23 o A gwyn ei fyd y neb ni rwystrir o'm plegit i. o1Cor. 1, 23
24 p Ac wedi i gennadau Ioan fyned ymmaith, efe a pIoan 5, 35
ddechreuodd ddywedyd wrth y dyrfa am Ioan: Beth
yr aethoch allan i'r diffeithwch i'w weled? ai corsen
yn siglo gan wynt?
25 q Ond pa beth yr aethoch i'w weled? ai dyn wedi qAmos 7, 13
ei ddilladu â gwiscoedd esmwyth? wele y rhai sy yn
arferu dillad anrhydeddus a masswedd ydynt mewn
palasoedd brenhinoedd.
26 Eithr beth yr aethoch i'w weled? ai prophwyd?
yn ddiau meddaf i chwi, a mwy na phrophwyd.

rMat.3,1 27 r Hwn yw efe o'r un yr scrifennwyd: wele yr wyf
yn anfon fyng-hennad o flaen dy wyneb, yr hwn a
drefna dy ffordd o'th flaen.
s Ioan 3, 28 s Canys meddaf i chwi ym mhlith y rhai a aned o
30 wragedd nid oes brophwyd mwy nag Ioan fedydd-
iwr: eithr yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas Dduw sydd
fwy nag ef.
tRhuf.3, 29 t Yna yr holl bobl a'r oedd yn gwrando, a'r Pub-
4 licanod a foliannasant Dduw, y rhai a fedyddiasid â
bedydd Ioan.
uAct.13, 30 u Eithr y Pharisæaid a'r cyfreithwyr yn eu herbyn
46 eu hunain a wrthodasant gyngor Duw, heb eu bedyddio
ganddo.
vMat.11 31 v Yna yr Arglwydd a ddywedodd, I bwy y cyffel-
16 a 3,7 ybaf ddynion y genhedlaeth hon, ac i ba beth y maent
tebyg?
wMat.25 32 w Tebyg ydynt i blant yn eistedd yn y farchnad,
27 ac yn llefain wrth eu gilydd, gan ddywedyd, Canasom
bibau i chwi, ac ni ddawnsiasoch, cwynfanasom i chwi,
ac nid wylasoch.
xMat. 3, 33 x Daeth Ioan Fedyddiwr heb fwytta bara, nac yfed
4 gwin, ac meddwch chwi, y mae cythrael ganddo.
1 Cor. 9, 34 y Daeth Mab y dyn yn bwytta ac yn yfed, ac yr
27 yRhuf.15 ydych yn dywedyd, Wele un glwth, ac yfwr gwin, cy-
2 faill publicanod a phechaduriaid.
zMat.11, 35 z Doethineb a gyfiawnhawyd gan bawb o'i phlant.
19 36 a Ac un o'r Phariseaid a'i gwahoddodd ef i fwytta
aIoan 3,1 gyd ag ef, ac yntef a aeth i dŷ'r Pharisead, ac a eis-
teddodd.
b Gal 2, 37 b Ac wele wraig, yr hon a fuase bechadures yn y
28 ddinas, pan wybu hi fod yr Iesu yn eistedd ar y bwrdd,
yn nhŷ'r Phariseaid, hi a ddug flwch o ennaint.
38 c A chan sefyll wrth ei draed ef o'r tu ol, ac wylo,
c1Tim 5, hi a ddechreuodd olchi ei draed ef â dagrau, a'u sychu
10 2 Cor. 7, â gwallt ei phenn, a hi a gusanodd ei draed ef, ac a'u
11 irodd ar ennaint.
dMat. 3, 39 d Pan welodd y Pharisæad, yr hwn ai gwahoddase,
9 efe a ddywedodd wrtho ei hun, Pe bydde hwn broph-
wyd, efe a wydde pwy, a pha fath wraig yw 'r hon sydd
yn cyffwrdd âg ef; canys pechadures yw hi.
40 Yna yr attebodd yr Iesu, gan ddywedyd wrtho,
Simon, Y mae genif beth iw ddywedyd wrthit; yntef a
ddywedodd, Athro, dywet.
eMat.18. 41 e Dau ddyledwr oedd i'r un echwynwr, y naill
23, 28 oedd arno bum cant ceiniog o ddyled, a'r llall ddec
a 6, 13 a deugain.
f2Cor. 3, 42 f A phryd nad oedd ganddynt ddim i dalu, efe a
5 faddeuodd iddynt ill dau: dywet gan hyny pwy o'r
rhai hyn ai car ef yn fwyaf?
43 Simon a attebodd, ac a ddywedodd, Yr wyf yn
tybied mae'r hwn y maddeuodd efe iddo fwyaf: yntef
a ddywedodd wrtho, Iniawn y bernaist.
44 Yna wedi troi at y wraig, efe a ddywedodd wrth
Simon, A weli di y wraig hon? Daethum i'th dŷ, ac
ni roddaist i mi ddwfr i'm traed: hon a olchodd fy
nhraed â dagrau, ac a'u sychodd â gwallt ei phenn.
45 Ni roddaist i mi gusan, a hon er pan ddaethym i
mewn, ni orphywysodd yn cusanu fy nhraed.
46 Nid iraist fy mhenn âg olew, a hi a irodd fy nhraed
âg ennaint.
g1Ioan4, 47 g Am hynny meddaf i ti, Maddeuwyd llawer o
10 bechodau iddi; canys carodd yn fawr, o achos i'r neb
y maddeuer ychydig, ychydig a gar efe.
hSal.32,1 48 h Ac efe a ddywedodd wrthi, Maddeuwyd i ti dy
Mat. 9,2 bechodau.

49 Yna y rhai oeddynt yn cyd-eistedd a ddechreu-
asant ddywedyd ynddynt eu hunain, Pwy yw hwn
sydd yn maddeu pechodau hefyd?
50 i Ac efe a ddywedodd wrth y wraig, Dy ffydd a'th
gadwodd, dos mewn tangneddyf. iAct.16, 18

## PEN. VIII.

*Crist yn pregethu o dref i dref; 5. Yn gosod allan ddammeg yr hâd, 16. a'r ganwyll. 19. Yn dangos pwy sydd geraint iddo. 23. Yn gostegu y môr. 41. Wrth fyned gyd ag Iairus yn iachau y wraig glaf o'r diferlif gwaed, ac yn bywhau merch Iairus.*

A j BU wedi hynny, iddo ef fyned trwy bob dinas a jAct.10,
thref, gan bregethu ac efangylu teyrnas Duw, 38
a'r deuddec [oeddynt] gyd ag ef: a 1,18
2 k A rhai gwragedd, a'r a iachesid oddi wrth ys- kMarc15
prydion drwg a chlefydau, Mair yr hon a elwid Mag- 40 1 Cor. 1,
dalen, o'r hon yr aethe saith gythrael allan. 27 Phil. 4,3
3 l Ac Ioanna gwraig Chuza gorchwiliwr Herod, a l2Cor. 9,
Susanna, a llawer eraill, y rhai oeddynt yn gweini iddo 11
â'u golud.
4 m Ac wedi i lawer o bobl ymgynnull yng-hyd, a mMat.13 3
chyrchu atto o bob dinas, efe a ddywedodd ar ddam- Marc 4,3
meg.
5 n Yr hauwr a aeth allan i hau ei hâd, ac wrth hau nMat. 9, 38
peth a syrthiodd ar ymyl y ffordd, ac a fathrwyd, ac
ehediaid y nef a'i bwyttaodd.
6 A pheth arall a syrthiodd ar y graig, a phan egin-
odd y gwywodd, am nad oedd iddo wlybwr.
7 Ac arall a syrthiodd ym mysc drain, a'r drain a
gyd-tyfasant, ac a'i tagasant ef.
8 o Ac arall a syrthiodd ar dir da, ac a eginodd ac a oIoan 15,
ddug ffrwyth ar ei ganfed: wrth ddywedyd y pethau 1
hyn efe a lefodd, Y neb sydd a chlustieu iddo i wrando
gwrandawed.
9 A'i ddiscyblion a ofynnasant iddo, gan ddywedyd,
Pa ddammeg oedd hon?
10 p Yntef a ddywedodd, I chwi y rhoddwyd gwybod pMat.11,
dirgeloedd teyrnas Duw; eithr i eraill ar ddamheg- 25
ion, fel yn gweled na welant, ac yn clywed na ddeall-
ant. q1Pedr1
11 q Ac dyma'r ddammeg; yr hâd yw gair Duw, 23
12 A'r rhai ar ymyl y ffordd ydyw y rhai sy yn gwran-
do, wedi hyny y mae diafol yn dyfod ac yn dwyn ym-
maith y gair o'u calonnau hwynt, rhag iddynt gan
gredu fod yn gadwedig.
13 r Y rhai ar y graig [yw] y rhai pan glywant y gair r Eph. 3,
a'i derbyniant yn llawen; eithr y rhain nid oes gan- 17
ddynt wreiddin, y rhai ydynt yn credu tros amser, ac
yn amser profedigaeth yn cilio.
14 s A'r hwn a syrthiodd ym mysc drain, yw y rhai a s2Cor. 7,
wrandawsant, ond wedi iddynt fyned ymmaith hwy a 1
dagwyd gan ofalon, a golud, a meluswedd buchedd,
ac nid ydynt yn dwyn ffrwyth.
15 t A'r hwn a [syrthiodd] ar y tir da, yw y rhai â tMat.24,
chalon rywiog dda, ydynt yn gwrando y gair, ac yn 13
ei gadw, ac ydynt yn ffrwytho trwy amynedd.
16 u Nid yw neb wedi goleu cannwyll yn ei chuddio uMat. 5,
hi â llestr neu yn gosod tan wely: eithr yn ei gosod 15
ar ganhwyll-bren, fel y caffo 'r rhai a ddel i mewn Dat.2.30
weled goleuni.
17 v Canys nid oes dim dirgel ar ni bydd amlwg, na v Act. 4,
dim cuddiedig, a'r nis gwybydder, ac na ddaw i'r goleu, 20
18 w Edrychwch am hyny pa fodd y clywoch; canys wHeb.4,
pwy bynnac y mae ganddo, i hwnw y rhoddir; a phwy 2
bynnac nid oes ganddo, yr hyn y mae yn tybied ei fod Iago 1,21

ganddo a ddygir oddi arno.
19 Daeth hefyd atto ei fam a'i frodyr, ac ni allent
ddyfod yn agos atto gan y dorf.
20 A mynegwyd iddo [gan rai] a ddywedasant, y
mae dy fam a'th frodyr yn sefyll allan, yn ewyllsio dy
weled.
x Iago 1, 22 — 21 [x] Ac efe attebodd, ac a ddywedodd wrthynt: fy
Mat. 7, 21 — mam i a'm brodyr y'w y rhai sy yn gwrando gair Duw,
Ioan 13, 17 — ac yn ei wneuthur.
y Mat. 8, 23 — 22 [y] A bu ar ryw ddiwrnod fyned o honaw i long
Marc 4, 35 — gyd â'i ddiscyblion, a dywedyd wrthynt, Awn i'r tu
hwnt i'r llynn, ac hwy a gychwnnasant.
23 Ac fel yr oeddynt yn hwylio, efe a hunodd, a
chafod o gorwynt a gododd ar y llynn, onid oeddynt
yn llawn, ac mewn enbydrwydd.
z Sal. 6, 2 — 24 [z] Yna yr aethant atto, ac y deffroasant ef gan ddy-
2 Cron 20, 12 — wedyd, O feistr, O feistr darfu am danom, ac efe wedi
Iona 2, 4 — ei gyfodi, a geryddodd y gwynt a'r tonnau dwfr; a
hwynt a beidiasant, a hi a aeth yn dawel.
a Mat. 8, 26 — 25 [a] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa le y mae eich
ffydd chwi? ac ofni a rhyfeddu a wnaethant, gan ddy-
wedyd y naill wrth y llall, Pwy yw hwn, sydd yn gor-
chymyn y gwynt a'r dwfr, a hwynteu yn ufyddhau
iddo?
b Mat. 8, 28 — 26 [b] Ac hwy a hwyliasant i wlad y Gadareniaid yr
hon sydd o'r tu arall ar gyfer Galilæa.
c Ioan 5, 6 — 27 [c] Ac wedi iddo fyned allan i dir, y cyfarfu ag ef
ryw wr o'r ddinas, yr hwn oedd ganddo gythreuliaid
er ys talm o amser, ac ni wisce ddillad, ac nid arhose
mewn tŷ, ond yn y monwentydd.
28 Hwn pan welodd yr Iesu wedi iddo ddolefain, a
ddaeth atto, ac a ddywedodd â llef uchel, Beth sydd i
mi â thi, O Iesu fab Duw goruchaf? yr wyf yn attolwg
i ti, na'm poenech.
d Gal. 5, 19 — 29 [d] Canys gorchymynase efe i'r yspryd aflan ddyfod
allan o'r dyn, canys llawer o amserau y cymmerase ef,
am hyny cedwid ef yn rhwym â chadwynau, ac a lly-
ffetheiriau, eithr wedi dryllio y rhwymau, ef a yrrwyd
gan y cythraul i'r dyffaethwch.
30 A'r Iesu a ofynnodd iddo gan ddywedyd, Beth
* Tybia thai eu bod yn 6000 o wyr traed, a 727 o wyr meirch. — yw dy enw di? yntef a ddywedodd, * Lleng: canys
llawer o gythreuliaid a aethant iddo ef.
31 [e] Ac hwy a ddeisyfiasant arno, na orchymynne
iddynt fyned i'r dyfnder.
32 Ac yr oedd yno genfaint o foch yn pori ar y
mynydd, a hwynt hwy a attolygasant iddo adel iddynt
Mat. 26, 53 — fyned i mewn i'r rhai hynny: ac efe a adawodd
e Dat. 20, 3 — iddynt.
2 Pedr 2, 4 — 33 [f] A'r cythreuliaid a aethant allan o'r dyn, ac a
aethant i mewn i'r moch: a'r genfaint a ruthrodd oddi
f Mat. 20, 5 — ar y dibyn i'r llynn, ac a foddwyd.
Sal. 50, 10 — 34 A phan welodd y meichiaid yr hyn a ddarfuase,
hwynt hwy a ffoasant, ac a aethant, ac a fynegasant
yn y ddinas a'r meusydd?
35 Yna yr aethant hwy allan i weled yr hwn a wnel-
sid yn iach, ac a ddaethant at yr Iesu, ac a gawsant y
dyn o'r hwn yr aethe y cythreuliaid allan, yn ei ddillad
a'i iawn bwyll, yn eistedd wrth draed yr Iesu, ac hwy
a ofnasant.
36 A'r rhai a welsant a fynegasant iddynt, pa fodd yr
iachausid y cythreulic.
g Iob 21, 14 — 37 [g] A'r holl werin o gylch gwlad y Gadereniaid, a
Rhuf. 16, 8 — ddymunasant arno fyned ymmaith oddi wrthynt: am
Mat. 7, 6 — eu bod mewn ofn mawr: ac efe wedi myned i'r llong
a 11, 19 — a ddychwelodd.

38 A'r gwr o'r hwn yr aethe y cythreuliaid allan, a
ddeisyfiodd arno ef gael bod gyd âg ef: eithr yr Iesu
a'i danfonodd ef ymmaith gan ddywedyd,
39 [h] Dychwel i'th dŷ, a dangos faint a wnaeth Duw — h Ioan 17, 4
erot, felly yr aeth efe tann bregethu trwy gwbl o'r — Sal. 115. 1
ddinas faint a wnaethe 'r Iesu iddo. — 1 Sam 2, 30
40 [i] A bu pan ddychwelodd yr Iesu trachefn, dder- — Sal. 66 16
byn o'r bobl ef, canys yr oedd pawb yn disgwil am — i Act. 17, 31
dano ef.
41 [j] Ac wele daeth gwr a'i enw Iairus, ac efe oedd — j Mat. 9, 18
lywodraethwr y Synagog, ac efe a syrthiodd wrth
draed yr Iesu, ac a attolygodd iddo ddyfod i'w dŷ ef: — Marc 5, 22
42 [k] O herwydd yr oedd iddo un ferch ynghylch — k Marc 12 20
deuddeng-mlwydd o oed, yr hon oedd ar farw, ac fel — 1 Cor. 4, 20
yr oedd efe yn myned, y bobl a'i gwascodd ef.
43 A gwraig yr hon oedd mewn diferlif gwaed er ys
deuddeng mhlynedd, ac a roese i feddygon gymmaint
oll a fedde, ni alle gael gan neb ei hiachau,
44 [l] Pan ddaeth hi o'r tu cefn iddo ef, hi a gyffyrdd- — l Marc 5, 26
odd ag ymmyl ei wisc ef, ac yn y fan y safodd diferlif — 2 Cor. 1, 8
ei gwaed hi. — 9
45 Yna y dywedodd yr Iesu, Pwy yw yr hwn a gyff- — Rhuf. 4, 19
yrddodd â mi? ac a phawb yn gwadu, y dywedodd
Pedr a'r rhai oedd gyd âg ef, O Feistr y mae y dorf yn
dy wascu, ac yn dy flino, ac a wyt ti yn dywedyd,
Pwy yw yr hwn a gyffyrddodd â mi?
46 [m] A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw un a gyffyrddodd — m Marc 5 30
â mi: canys mi a wnn fyned rhinwedd o honof.
47 Pan welodd y wraig nad oedd hi yn guddiedig,
hi a ddaeth tann grynu, ac a syrthiodd wrth ei draed ef,
ac a fynegodd iddo yng-wydd yr holl bobl, am ba
achos y cyffyrddase hi âg ef, a'r modd yr iachausid hi
yn ebrwydd.
48 [n] Ac yntef a ddywedodd wrthi, Cymmer gyssur — n 1 Thes.
ferch, dy ffydd a'th iachaodd: dos mewn tangneddyf. — 5, 14
49 Ac efe etto yn llefaru, fe a ddaeth un o dŷ llyw-
odraethwr y Synagog, gan ddywedyd wrtho, Bu farw
dy ferch, na phoena mo'r Athro.
50 [o] A'r Iesu pan glybu hyn a'i attebodd ef, Nac ofna, — o Mat. 17, 20
creda yn unic, a hi a iacheir.
51 [p] Wedi ei fyned ef i'r tŷ, ni ollyngodd efe neb i — p Marc 5, 37
mewn gyd âg ef, ond Petr, ac Iaco, ac Ioan, a thad — Mat. 17, 1
a mam y llangces. — a 14, 31
52 [q] Ac wylo a griddfan am deni yr oeddynt oll, — q Act. 7,
eithr efe a ddywedodd, Nac wylwch: nid marw hi, — 60
eithr cyscu y mae hi.
53 A hwynt a'i gwatwarasant ef, am iddynt wybod
ei marw hi.
54 [r] Yna y bwriodd efe hwynt oll allan, ac a'i cym- — r Mat. 7, 6
merth hi erbyn ei llaw, ac a lefodd gan ddywedyd, — Ioan 11, 43
Herlodes cyfot. — Marc 5,
55 A'i hyspryd hi a ddaeth trachefn, a hi a gyfod- — 41
odd yn ebrwydd, ac efe a orchymynnodd roi bwyd
iddi.
56 [s] A rhyfeddu a wnaeth ei rhieni hi: ac efe a orch- — s Mat. 12,
ymynnodd na ddywedant i neb y peth a wnethid. — 16, 17

## PEN. IX.

*Crist yn anfon y deuddec i bregethu, 12 yn porthi pum mil â phump torth. 18 yn gofyn pwy yr oeddid yn tybied ei fod efe. 29 yn ymrithio ar y mynydd, 2 yn bwrw allan y cythrael ni alle ei ddiscyblion ei fwrw, 57 ac yn atteb tri math ar ddilynwyr.*

AC [t] efe a alwodd ei ddeuddec discybl, ac a roddes — t Mat. 10,
iddynt feddiant, ac awdurdod ar yr holl gyth- — 1
reuliaid, ac i iachau clefydau.

nTit.1,9. 14 — 2 n Ac efe a'u hanfonodd hwynt i bregethu teyrnas Dduw, ac i iachau 'r clwyfus.

vMat.10, 9, 10 — 3 v Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na chymmerwch ddim i'r daith, na ffyn, nac screpan, na bara, nac arian, ac na fydded i chwi ddwy bais.

4 Ac i ba dŷ bynnac yr eloch i mewn arhoswch yno, ac oddi yno yr ymadewch.

wMarc 6 11 Act.13,51 — 5 w A pha rai bynnac ni'ch derbyniant, pan eloch allan o'r ddinas honno escydwch y llwch oddi wrth eich traed yn destiolaeth yn eu herbyn hwynt.

x2Tim.4 2 Mat.9.35 — 6 x Ac wedi iddynt fyned allan hwynt hwy a aethant trwy bob tref gan bregethu yr Efengyl, ac iachau ym mhob lle.

yMat. 14, 2 — 7 y A Herod y Tetrarch a glybu y cwbl oll a wnaethid ganddo: ac efe a betrusodd, am fod rhai yn dywedyd gyfodi Ioan o feirw.

zMat. 16, 14 — 8 z A rhai eraill, ymddangos o Elias: a rhai eraill, mai un o'r hen brophwydi a adgyfodase.

9 Yna y dywedodd Herod, Ioan a dorrais i ei ben, pwy gan hynny ydyw hwn yr wyf yn clywed y cyfryw bethau am dano? ac yr oedd efe yn ceisio ei weled ef.

aMat.14, 13 Ioan 6. 5 Marc 6, 35 — 10 a Ac wedi dychwelyd yr Apostolion, hwy a fynegasant iddo y cwbl a wnaethasent, ac efe a'u cymerth hwynt, ac a aeth o'r naill tu i ddiffaethwch y ddinas a elwid Bethsaida.

bMat 6, 33 — 11 b A phan wybu'r bobl hynny, hwynt-hwy a'i dilynasant ef, ac efe a'u derbyniodd hwynt, ac a ymddiddanodd â hwynt am deyrnas Dduw: a'r rhai oedd arnynt eisiau iechyd a iachaodd efe.

cRhuf.10 2 Gal. 4,18 — 12 c A'r dydd a ddechreuodd hwyrhau, a'r deuddec a ddaethant atto, ac a ddywedasant wrtho, Gollwng y bobl ymmaith, fel y gallant fyned i'r trefi a'r meusydd oddi amgylch i letteu, ac i geisio bwyd, canys yr ydym ni yma mewn lle anghyfannedd.

dIoan6,9 Deut.8 8 2Bren.7, 8 — 13 d Ac efe a ddywedodd wrthynt, Rhoddwch chwi iddynt [beth] i'w fwytta: a hwyntau a ddywedasant, Nid oes genym ni fwy nâ phump torth a dau byscodyn, oni bydd i ni fyned a phrynu bwyd i'r bobl hyn oll.

14 Canys yr oeddynt yng-hylch pum mil o wŷr; ac efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Gwnewch iddynt eistedd yn finteioedd, bob yn ddeng-wr a deugein.

eMat 15, 24 — 15 e Ac felly y gwnaethant, ac hwy a wnaethant iddynt oll eistedd.

fIoan11, 4 a 17, 1 Iago 1,17 — 16 f Yna y cymmerth efe y pum torth a'r ddau byscodyn, ac efe a edrychodd i fynu i'r nef, ac a'u bendigodd ac a'u torrodd, ac a'u rhoddes i'w ddiscyblion iw gosod ger bron y bobl.

gSal.145. 18 a 23. 1 Diar. 13, 25 — 17 g Ac hwynt-hwy oll a fwyttasant, ac a gawsant ddigon, ac fe godwyd o'r gweddillion ddeuddec basgedaid o friw-fwyd.

hMat.16, 13 Marc 8, 27 — 18 h Bu hefyd fel yr oedd efe ei hun yn gweddio, fod ei ddiscyblion gyd ag ef, ac efe a ofynodd iddynt, gan ddywedyd, Pwy y mae'r bobl yn dywedyd fy mod i?

19 Ac hwynt-hwy a attebasant, gan ddywedyd, Ioan fedyddiwr, a rhai Elias, eraill mai un o'r hen brophwydi a adgyfododd.

i1Pedr3, 15 Act 18,25 Marc 8, 29 Ioan 6 69 — 20 i Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pwy yr ydych chwi yn dywedyd fy mod i? yna Petr a ddywedodd, Crist Dduw.

jMat. 17, 9 — 21 j Ac efe a'u gwaharddodd hwynt, ac a orchymynodd iddynt na ddywedent i neb:

k1Pedr2 4, 7 Mat. 17, 22 — 22 k Gan ddywedyd y bydde raid i Fab y dyn oddef llawer; a'i wrthod gan yr henuriaid, a chan yr archoffeiriaid, a'r scrifennyddion, a'i ladd, a'r trydydd dydd adgyfodi.

23 l Ac efe a ddywedodd wrth bawb, Os ewyllysia neb ddyfod ar fy ol i, gwaded ef ei hun, a choded ei groes beunydd, a dilyned fi. — lMat. 16, 24

24 m Canys pwy bynnac a ewyllysio gadw ei fywyd a'i cyll ef, a phwy bynnac a gollo ei fywyd o'm hachos i a'i ceidw ef. — mMat 10 39 Gal. 6,12 Act. 13,2 a 21, 13

25 Canys pa lesâd i ddyn er ennill yr oll fyd, a'i ddifetha ei hun, neu ei golli ei hun?

26 n Y neb y byddo yn gywilydd ganddo fyfi a'm geiriau, hwnnw fydd yn gywilydd gan Fab y dyn pan ddelo yn ei ogoniant, ac [yng-ogoniant ei] Dad, a'r sanctaidd angelion. — nEph. 1, 20 Tit. 2, 13

27 o Yn wir meddaf i chwi, y mae rhai o'r sawl sy yn sefyll ymma ar ni archwaethant angeu, hyd oni welant deyrnas Dduw. — oMat.17, 1 2Pedr 1, 16

28 p A bu yng-hylch wyth ddiwrnod wedi y geiriau hyn, gymmeryd o honaw ef Petr ac Ioan ac Iaco, a myned i fynu i'r mynydd i weddio. — pMat.17, 1

29 q Ac fel yr oedd efe yn gweddio, ei wynepryd ef a newidiwyd, a'i wisc oedd yn wenn ddisclaer. — qDan. 9, 20 Act. 13,2

30 r Ac wele dau ŵr a ymddiddanasant ag ef, y rhai oeddynt Moses ac Elias. — rPen.26, 26

31 Y rhai a ymddangosent mewn gogoniant, ac a ddywedasant am ei ddiweddiad ef, yr hwn a gyflawne efe yn Ierusalem.

32 s A Phetr a'r rhai oeddynt gyd ag ef, oeddynt yn ei trym-gwsc: a phan dduhunasant, hwy a welsant ei ogoniant ef, a'r ddau wr y rhai oeddynt yn sefyll gyd ag ef. — sDan. 8, 18

33 A bu pan aethant hwy ymmaith oddi wrtho ef, ddywedyd o Petr wrth yr Iesu, O feistr da yw i ni fod ymma: gwnawn dair pabell, un i ti, ac un i Moses, ac un i Elias: eithr ni wydde beth yr oedd yn ei ddywedyd.

34 Ac fel yr oedd efe yn dywedyd hynn, fe a ddaeth cwmwl ac ai cyscododd hwynt, ac hwynt hwy a ofnasant, pan *aethant hwy i'r cwmmwl. — * Sef, Moses ac Elias.

35 t A daeth llef allan o'r cwmwl gan ddywedyd, Hwn yw fy annwyl Fab, gwrandewch ef. — t2Pedr1, 17 Mat. 17,5

36 u Ac wedi bod y llef honno y cafwyd yr Iesu yn unic: ac hwynt a gelasant, ac ni fynegasant i neb y dyddiau hynny ddim o'r pethau a welsent. — u2Tim. 2 5 Act.4,12

37 v Ac fe ddarfu dranoeth, a hwynt yn dyfod i wared o'r mynydd, i lawer o bobl ei gyfarfod ef: — vMat.17, 14 Marc 9, 17

38 w Ac wele ryw un o'r dyrfa a ddolefodd gan ddywedyd, O Athro, yr wyf yn attolwg i ti edrych ar fy mab: canys fy unic-anedig yw. — wMat 6, 36 Esa. 64.9

39 x Ac wele, y mae yr yspryd yn ei gymmeryd ef, ac yntef yn ddisymmwth yn gweiddi, ac y mae yn ei rwygo ef oni falo ewyn, a phrin yr ymedu ag ef wedi iddo ei ysigo ef. — x1Pedr5 8 Marc 1, 26

40 y A mi a ddeisyfais ar dy ddiscyblion ei fwrw ef allan, ac nis gallent. — yMat.17, 20

41 z A'r Iesu a attebodd gan ddywedyd, O genhedlaeth anffyddlawn, ac anhydyn: pa hŷd y byddaf gyd â chwi, ac i'ch goddefaf? dwg dy fab ymma. — zMat. 21, 43

42 a Ac fel yr oedd efe yn dyfod, y cythrael a'i rhwygodd ef ac a'i drylliodd: a'r Iesu a geryddodd yr yspryd aflan, ac a iachaodd y bachgen, ac a'i rhoddes ef iw dad. — aDat. 17, 13 Ex. 5,6 7

43 b A brawychu a wnaethant oll, gan fawredd Duw: ac fel yr oedd pawb yn rhyfeddu am yr holl bethau a wnaethe yr Iesu, efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, — bSal.111 2 Ex. 15,11

44 c Gosodwch chwi yn eich clustiau yr ymadroddion hynn canys rhoddir Mab y dyn yn nwylo dynion. — cMat.17, 22 Act.2,23

45 Eithr ni ddeallasant mo'r gair hwn: canys cudd-

iedig oedd iddynt, fel na ddehallent ef: ac yr oedd
arnynt arswyd ymofyn ag ef am y gair hwn.
dMat.18, 46 [d] Ac efe a ddigwyddodd dadl yn eu plith: pwy o
1 Marc 9, honynt oedd fwyaf.
33 47 [e] A'r Iesu wrth weled meddwl eu calonneu hwynt,
eMat.9.4 Ioan 2,24 a gymmerth faohgennyn, ac a'i gosododd yn ei ymyl,
48 Ac a ddywedodd wrthynt, Pwy bynnag a dder-
byn y bachgennyn hwn yn fy enw i sydd yn fy nerbyn
i; a phwy bynnag a'm derbyn i, sydd yn derbyn yr
hwn a'm hanfonodd i; canys yr hwn sydd leiaf yn
eich plith oll, fydd mawr.
f Marc9, 49 [f] Ioan a attebodd ac a ddywedodd, O feistr ni a
38 Phil.1,18 welsom ryw un yn dy enw di yn bwrw allan gythreul-
Num.11, iaid, ac a waharddasom iddo am nad oedd yn canlyn
28 gyd â ni.
gMat.12, 50 [g] A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Na waherddwch;
30 canys y neb nid yw i'n herbyn, sydd gyd â ni.
h Iob 14, 51 [h] A bu wedi cyflawni dyddiau ei gymmeriad ef i
14 Marc 6, fynu, ymsycrhau o honaw ef i fyned i Ierusalem.
19 52 Ac efe a ddanfonodd gennadau o'i flaen, y rhai
a gerddasant, ac a aethant i dref y Samariaid i barotoi
iddo ef.
53 Eithr hwynt ni dderbynient ef, am fod ei wyneb
ef ar fyned tu ag Ierusalem.
iGal.4,17 54 [i] Pan welodd ei ddisgyblion Iaco ac Ioan [hynny,]
2Sam 21, hwynt hwy a ddywedasant, O Arglwydd a fynni di i
2Bren.1, ni ddywedyd am ddyfod tân o'r nef a'u difa hwynt,
10 megis y gwnaeth Elias?
kMat.26 55 [k] A'r Iesu a droes ac a'u ceryddodd hwynt, gan
53 ddywedyd, Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych chwi.
lMat 1,21 56 [l] Ni ddaeth Mab y dyn i golli eneidiau dynion,
1Tim. 1, onid iw cadw: yna yr aethant i dref arall.
15 57 A bu a hwynt yn myned, ddywedyd o ryw un
ar y ffordd wrtho ef, O Arglwydd, mi a'th ganlynaf i
ba le bynnag yr elych.
mAct. 1, 58 [m] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y mae gan y
Phil.2,21 llwynogod eu ffauau, a chan adar yr awyr eu nythod;
1 Cor. 6, eithr Mab y dyn nid oes ganddo le i roi ei ben i
10 a 8, 9 lawr.
59 Ac efe a ddywedodd wrth un arall, Dilyn fi, ac
yntef a ddywedodd, Arglwydd, gad i mi yn gyntaf
fyned a chladdu fy nhad.
n1Tim.5 60 [n] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Gad i'r meirw
5 gladdu eu meirw: dos di a phregetha deyrnas Dduw.
61 Ac arall a ddywedodd, Mi a'th ddilynaf di O Ar-
glwydd, ond gad ti i mi yn gyntaf fyned a chanu yn
iach i'r rhai sy yn fy nhŷ.
Phil. 3, 62 [o] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Nid oes neb a'r a
Heb. 10, rydd ei law ar yr aradr, ac a edrycho ar ei ol, yn
8 gymmwys i deyrnas Dduw.

## PEN X.

*Crist yn anfon dec a thrugain i bregethu. 21. Yn diolch iw Dad tros ei ddyscyblion. 25. Yn atteb y cyfreithiwr gan ddangos pwy yw ein cymydog. 38. A'r modd y dewisodd Mair Fagdalen yn gallach na Martha.*

Marc6, WEDI [p] y pethau hyn yr ordeiniodd yr Arglwydd
reg. 6, ddêc a thrugein eraill, ac a'u danfones hwynt
bob yn ddau a dau o'i flaen, i bob dinas a lle, ar yr
oedd efe ar fyned iddynt.
Philem 2 [q] Am hynny efe a ddywedodd wrthynt, Y cynhaiaf
at 9,38 sydd fawr, a'r gweithwyr yn anaml: gweddiwch gan
hynny ar Arglwydd y cynhaiaf, am ddanfon allan
Heb. 5, weithwyr iw gynhaiaf.
at. 10, 3 [r] Ewch, wele yr wyf yn eich anfon fel ŵyn ym
mysc bleiddiaid.

4 [s] Na ddygwch god, nac screpan, nac escidiau, ac sMat. 6,
na chyferchwch i neb ar y ffordd. 31 Phil. 4,6
5 [t] Ac i ba dŷ bynnag yr eloch, yn gyntaf dywedwch t 1 Sam.
Tangneddyf i'r tŷ hwn. 25. 6 Mat. 10,
6 Ac o bydd yno fab tangneddyf, eich tangneddyf a 11
erys arno; os amgen hi a ddychwel attoch chwi.
7 [u] Ac yn y tŷ hwnw arhoswch, gan fwytta ac yfed y u1Tim 6
cyfryw bethau [a gaffoch] ganddynt: canys teilwng i'r 6, 8 1Cor.9,7
gweithiwr ei gyflog. Ac na threiglwch o dŷ i dŷ. 1Tim. 5,
8 Ac i ba ddinas bynnag yr eloch, os hwynt hwy a'ch 17
derbyniant, bwytewch y cyfryw bethau a rodder ger
eich bronau.
9 [v] Ac iachewch y cleifion a fydd ynddi, a dywedwch vMat 3,2
wrthynt, Daeth teyrnas Dduw yn agos attoch. a 4, 17
10 [w] Eithr i ba ddinas bynnag yr eloch, ac ni'ch der- wMarc 6
byniant, ewch allan i'w heolydd, a dywedwch, 11 Iob 21, 14
11 [x] Y llwch yr hwn a lynodd wrthym o'ch dinas a xAct. 13,
sychasom ymmaith i chwi; er hynny gwybyddwch 51
hyn, fod teyrnas Dduw wedi nesau attoch.
12 [y] Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, mai esmwyth- yHeb.10,
ach fydd i'r Sodomiaid yn y dydd hwnnw nag i'r 29
ddinas honno.
13 [z] Gwae di Chorazin, gwae di Bethsaida, canys pe zEzec.3,
buase y gwrthiau a wnaethpwyd ynoch chwi, wedi eu 5, 6
gwneuthur yn Nhyrus a Sidon: er ys talm yr edifar-
hasent mewn sachlen a lludw.
14 [a] Am hynny esmwythach fydd i Tyrus a Sidon aPen.12,
yn y farn nag i chwi. 47
15 A thithe Capernaum yr hon i'th dderchafwyd
hyd y nef, a dynnir i lawr hyd yn uffern.
16 Y neb sydd yn eich gwrando chwi sydd yn fyng-
wrando i: a'r neb sydd yn eich dirmygu chwi sy yn fy
nirmygu i, a'r neb sy yn fy nirmygu i sydd yn dirmygu
yr hwn a'm hanfonodd fi.
17 [b] Ar dêc a thrugain a ddychwelasant â llawenydd, bRhuf 16
gan ddywedyd, O Arglwydd, y cythreuliaid a ddaros- 20
tyngir i ni yn dy enw di.
18 Yna y dywedodd efe wrthynt, Mi a welais Satan cDat. 12,
megis mellten yn syrthio o'r nef. 9 Eph 6 15
19 [d] Wele, yr ydwyf yn rhoddi i chwi awdurdod i dMarc16
sathru ar seirph, ac scorpionau, ac ar holl gryfder y 18 Act. 28 5
gelyn, ac ni wna ddim niwed i chwi. Mat. 16,
20 [e] Eithr yn hyn na lawenhewch, fod ysprydion wedi 18
darostwng i chwi: llawenhewch yn hytrach am fod e Mat. 7, 22
eich henwau yn scrifenedig yn y nefoedd, Phil. 4,3
21 [f] A'r amser hwnnw yr Iesu a ymlawenychodd yn fMat.11,
ei yspryd, ac a ddywedodd, Yr wyf yn diolch i ti O 25
Dad, Arglwydd nef a ddaear, am i ti guddio y pethau
hyn oddi wrth y doethion a'r rhai call, a'u agoryd
hwynt i blant bychain, yn wir O Dad, felly 'r oedd dy
ewyllys.
22 [g] Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad: ac ni gIoan 1,
ŵyr neb pwy yw y Mab ond y Tad: na phwy yw 'r 18 1 Cor. 2,
Tad ond y Mab, a'r neb y mynne 'r Mab ei ddadcudd- 11
io ef.
23 [h] Ac wedi iddo droi at ei ddiscyblion o'r nailltu hIoan 8,
efe a ddywedodd, Gwyn fyd y llygaid sy yn gweled y 56
pethau yr ydych chwi yn eu gweled.
24 [i] Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, Ewyllysio o iMarc13,
lawer o brophwydi a brenhinoedd weled y pethau yr 17
ydych chwi yn eu gweled, ac nis gwelsant, a chlywed
y pethau yr ydych chwi yn eu clywed, ac nis clywsant.
25 [j] Ac wele rhyw gyfreithiwr a gododd iw demtio jMat. 16,
ef, gan ddywedyd, Athro pa beth a wnaf i etifeddu 1 a 22, 35
bywyd tragywyddol?

26 Ac yntef a ddywedodd wrtho, pa beth sydd scrif-
ennedig yn y gyfraith? Pa fodd y darlleni?
27 Ac ef a attebodd gan ddywedyd, car dy Arglwydd
Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl
nerth, ac â'th holl feddwl, a'th gymmydog fel dy hun,
k Gal 3, 28 [k] Yntef a ddywedodd wrtho, Da'r attebaist, gwna
18, 21, 22, 24 hyn a byw fyddi.
29 Eithr efe yn ewyllyssio ei gyfiawnhau ei hun, a
ddywedodd wrth yr Iesu, A phwy yw fyng-hym-
mydog?
l Ioan 8, 30 [l] A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd, Rhyw ddyn
44 Rhuf. 3, a aeth i wared o Ierusalem i Iericho, ac a syrthiodd ym
23 mysc lladron, y rhai wedi ei ddiosc a'i archolli ef, a
aethant ymmaith, gan ei adel ef yn hanner marw.
m Sal. 38, 31 [m] Ac fe a ddigwyddodd i offeiriad ddyfod i wared
11 ar hŷd y ffordd honno, ac wedi iddo ei weled, efe a
Esa. 53, 7 aeth o'r tu arall heibio.
32 A'r un modd Lefiad, wedi dyfod i'r lle, ai weled,
efe a aeth heibio o'r tu arall.
n Ezec. 16, 33 [n] Yna rhyw Samariad wrth ymdaith a ddaeth atto
5 Mat. 9, 36 ef, a phan ei gwelodd a dosturiodd:
o Heb. 2, 34 [o] Ac wedi iddo ddyfod atto, efe a rwymmodd ei
16 archollion, ac a dywalldodd ynddynt olew a gwin: ac
wedi ei roi ef ar ei anifail ei hun, efe a'i dug ef i'r lletty
ac a'i ymgoleddodd.
35 A thranoeth wrth fyned ymmaith, efe a dynnodd
allan ddwy geiniog, ac a'u rhoddes i'r lletteuwr gan
ddywedyd wrtho, Cymmer ofal trosto, a pha beth
bynnag a dreuliech yn chwaneg, pan ddelwyf trach-
efen, mi a'i rhoddaf i ti.
36 Pwy gan hynny o'r tri hynn, i'th dyb di, oedd gym-
mydog i'r hwn a syrthiase ym mhlith y lladron?
p Ioan 13, 37 [p] Ac efe a ddywedodd, Yr hwn a wnaeth drugar-
17 edd ag ef, A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Dos, a gwna
dithe yr un modd.
38 A bu wrth ymdaith ddyfod o honaw i ryw dref;
a gwraig ai henw Martha ai derbyniodd ef i'w thŷ.
q Act. 21, 39 [q] Ac i hon yr oedd chwaer a elwid Mair, yr hon a
3 eisteddodd wrth draed yr Iesu i wrando ei ymadrodd ef.
r Mat. 8, 40 [r] A Martha oedd drafferthus ynghylch llawer o
15 wasanaeth, a chan sefyll ger llaw hi a ddywedodd, Ar-
glwydd, onid oes ofal gennit, am i'm chwaer fyng-adel
i fy hun i wasanaethu? dywet wrthi am fy helpio.
41 A'r Iesu a attebodd gan ddywedyd wrthi, Martha
Martha, trafferthus wyt a gofalus am lawer o bethau,
s Mat. 6, 42 [s] Eithr un peth sydd angenrhaid, Mair a ddewis-
33 odd y rhan dda, yr hon ni ddygir oddi arni.

## PEN. XI.

*Crist yn dyscu i'w ddiscyblion weddio. 14 Yn bwrw cythrael allan, ac yn atteb cabledd y Pharisæaid. 29 Yn atteb y rhai a geisiasent arwyddion. 39 Ac yn argyoeddu rhagrith y Pharisæaid a'r scrifennyddion.*

t Rhuf. 8, A [t] BU, fel yr oedd efe mewn man yn gweddio, pan
26 beidiodd, ddywedyd o un o'i ddisgyblion wrtho,
Dysc i ni weddio megis y dyscodd Ioan i'w ddiscybl-
ion,
u Ios. 12, 2 [u] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pan weddioch,
28 Esa. 6, 3, dywedwch, Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd, sanct-
a 8, 13 eiddier dy enw; deued dy deyrnas, gwneler dy ewyll-
ys ar y ddaiar fel yn y nef.
3 Ein bara beunyddiol dyro i ni heddyw.
v Esa. 43, 4 [v] A maddeu i ni ein pechodau, canys yr ydym nin-
24 nau yn maddeu i bawb sydd yn ein dyled. Ac nac ar-
wain ni i brofedigaeth, eithr gwaret ni rhag drwg.
5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pwy o honoch fydd
iddo gyfaill, ac a aiff atto hanner nos, ac a ddywet
wrtho, O gyfaill, moes i mi dair torth yn echwyn?
6 Canys cyfaill i mi a ddaeth (wrth ymdaith) attaf,
ac nid oes gennyf ddim i'w ddodi ger ei fron ef.
9 Ac yntef oddi mewn, a ettyb gan ddywedyd, Na
flina fi, yn awr y mae'r drws yn gaead, a'm plant gydâ
mi yn y gwely; ni allaf godi i'w roddi i ti.
8 [w] Yr wyf yn dywedyd i chwi, er nã chyfyd efe a w Mat. 15
rhoddi iddo, am ei fod yn gyfaill; etto yn ddiau rhag 22, 28
ei deirni, efe a gyfyd, ac a rydd iddo gymaint ag a
fyddo arno eu heisieu.
9 [x] Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, Gofynwch, ac x Mat. 7;
fe a roddir i chwi, ceisiwch a chwi a gewch, curwch, 7 a 21, 22
ac fe agorir i chwi. Marc 11,
10 Canys pwy bynnag a ofynno a dderbyn; a'r neb 24
a geisio a gaiff, ac i'r neb a guro yr agorir.
11 [y] Pa dad o honoch, os gofyn ei dad iddo fara, a y Mat 7,
rydd iddo garreg? neu [os gofyn] byscodyn, a rydd 9
iddo sarph yn lle pyscodyn?
12 Neu os gofyn efe ŵy, a rydd yntef iddo scorpion?
13 [z] Os chwy-chwi gan hynny y rhai ydych ddrwg, a z Mat 13, 17
fedrwch roi pethau da i'ch plant; pa faint mwy y rhydd Gal. 5, 22
eich Tad nefol ei Yspryd Glân i'r rhai a ofynno gan- 1 Ioan 2, 20
ddo. Ier. 31, 9
14 [a] Ac yr oedd efe yn bwrw allan gythrael, yr hwn 1 Cor. 12, 7, 8
oedd fud: a bu wedi i'r cythrael fyned allan, i'r mud a Mat. 9,
lefaru, a rhyfeddu a wnaeth y bobl. 32, 33
15 [b] A rhai o honynt a ddywedasant, Trwy Beelze- b Mat. 9, 34
bub pennaeth y cythreuliaid y mae efe yn bwrw allan Ioan 7, 40
gythreuliaid.
16 [c] Ac eraill er ei brofi ef a geisiasant ganddo arwydd c Mat. 12,
o'r nef. 38 a 16, 1
17 [d] Yntef yn gwybod eu meddyliau hwynt, a ddy- d Mat. 9,
wedodd wrthynt, Pob teyrnas wedi ei rhannu ynddi 4 Ioan 2, 24
ei hun a anrheithir; a thŷ [rhannedic] yn ei erbyn ei
hun, a syrthia.
18 Os Satan hefyd sy wedi ymrannu yn ei erbyn ei
hun, pa fodd y saif ei deyrnas ef? gan eich bod yn
dywedyd mai trwy Beelzebub yr wyf fi yn bwrw allan e Marc 9,
gythreuliaid? 38 1 Ioan 3,
19 [e] Os trwy Beelzebub yr wyf i yn bwrw allan gyth- 20
reuliaid, trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu bwrw f Ex. 8, 19
hwynt allan? am hynny y byddant hwy yn farnwyr Mat. 12,
arnoch chwi. 28
20 [f] Eithr os myfi trwy fys Duw ydwyf yn bwrw allan g Eph. 2,
gythreuliaid, diammau ddyfod teyrnas Dduw attoch 2 a 6, 12
chwi.
21 [g] Pan fyddo un cryf arfog yn cadw ei neuadd, y h Mat. 28, 18
mae yr hwn oll sydd ganddo mewn heddwch. Col. 2, 15
22 [h] Ond pan ddel un cryfach nag ef arno, a'i orch-
fygu, efe a ddwg ymmaith ei holl arfogaeth ef, yn yr i Mat. 12,
hon yr oedd yn ymddyried, ac a ran ei anrhaith ef. 30
23 [i] Y neb nid yw gyd â mi sydd yn fy erbyn: a'r neb j Act. 8, 15
nid yw yn casclu gyd â mi, sydd yn gwascaru.
24 [j] Pan el yr yspryd aflan allan o ddyn, efe a rodia
mewn lleoedd sychion gan geisio esmwythdra, a phryd
na chaffo, efe a ddywed, Mi a ddychwelaf i'm tŷ, o'r
lle y daethum:
25 [k] A phan ddêl, y mae yn ei gael wedi ei yscubo a'i k Gal. 5.
drefnu: 19, 20, 21

---

PEN. XI. Adn. 4.] "Nac arwain ni i brofedigaeth." Na oddef i un gelyn ein harwain! Byd, cnawd, &c. ac os gwnant, gwared ni! Fe dry Duw y wialen yn sarph, a'r sarph yn wialen i hollti y môr! Ex. iv. 3. Bu Pharao'n sarph i flino'r saint, Ond gwialen Moses ga'dd y fraint!

26 Yna yr aiff efe, ac y cymmer [gyd âg ef] saith
ysprvd eraill gwaeth nag ef ei hun: a phan elont i mewn
yno yr arhossant, a diwedd y dyn hwnnw fydd
gwaeth na'i ddechreuad.
27 A bu fel yr oedd efe yn dywedyd y pethau hyn
godi o ryw wraig o'r dyrfa ei llef gan ddywedyd
wrtho, Gwyn fyd y grôth a'th ddug di, a'r bronnau a
sugnaist.
28 Yntef a ddywedodd, Yn hytrach gwyn fyd y
rhai ydynt yn gwrando gair Duw, ac yn ei gadw.
m1Cor. 1 22 Mat. 12, 38 29 m A phan ymgasglodd y bobl atto, efe a ddech-
reuodd ddywedyd, Y genedl sydd ddrwg y mae hi yn
ceisio arwydd, ac arwydd ni roddir iddi ond arwydd
Ionas y prophwyd.
n Act. 2, 37, 41, 47 30 n Canys fel y bu Ionas yn arwydd i'r Ninifeaid,
felly y bydd Mab y dyn i'r genedl hon.
o 1 Bren. 10, 1 31 o Brenhines y dehau a gyfyd yn y farn gyd â gwyr
y genhedlaeth hon, ac a'u condemna hwynt, am iddi
ddyfod o eithafoedd y ddaiar i wrando doethineb Sa-
lomon, ac wele, [un] mwy na Salomon ymma.
p Ioan 3, 5 6, 10 32 p Gwyr Ninife a godant yn y farn gyd â'r gen-
hedlaeth hon, ac a'i condemna hi, am iddynt edifar-
hau wrth bregeth Ionas: ac wele, [un] mwy nag Ionas
ymma.
33 Ni ddyru neb gannwyll wedi iddo ei goleu, yng-
hudd, na thann lestr: eithr ar ganhwyllbren, fel y
gallo y rhai a ddel i mewn weled y goleuni.
q Mat. 6, 22 a 10, 15 34 q Cannwyll y corph yw'r llygad: am hynny pan
[fyddo] dy lygad yn syml, yna y mae dy holl gorph yn
oleu: eithr pan fyddo dy lygad yn ddrwg, yna y bydd
dy gorph yn dywyll.
r Rhuf. 1, 22 Pen. 18, 11 35 r Edrych am hynny rhag i'r goleuni sydd ynot,
fod yn dywyllwch.
s 1 Cor. 13, 9 36 s Am hynny os dy holl gorph di sydd oleu, ac
heb un rhan dywyll, yna y bydd y cwbl yn oleu, fel
pe bydde gannwyll yn dy oleuo â'i llewyrch.
t 1 Cor. 9, 19, 20 37 t Ac fel yr oedd efe yn llefaru, rhyw Pharisæad
ai gwahoddodd ef i giniawa gyd âg ef, ac efe a aeth,
ac a eisteddodd.
u Marc 7, 2 9 Gal. 5, 1 38 u A'r Pharisæad pan welodd a ryfeddodd, nad
ymolchase efe yn gyntaf, o flaen ciniaw.
v Mat. 14, 15 Act. 2, 36 Sal. 51 6 Mat. 23, 25 39 v A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Yn ddiau
chwy-chwi'r Phariseaid ydych yn glanhau y tu allan
i'r cwppan a'r ddysgl, a'ch tu mewn sydd yn llawn o
drais a drygioni:
Lev. 4, 4 w 1 Thes. 5, 23 40 w O ynfydion, onid yr hwn a wnaeth yr hyn sydd
oddi allan, a wnaeth yr hyn sydd oddi mewn hefyd?
x 1 Cor. 8, 12 1 Tim. 4, 4 Tit. 1, 15 41 x Yn hytrach, rhoddwch elusen o'r pethau sy: ac
wele, pob peth sydd lân i chwi.
42 Eithr gwae chwi'r Pharisæaid: canys yr ydych
chwi yn degymmu y mintys, a'r ruw, a phob llyssieun,
ac yn gadel ymmaith farn a chariad Duw: y rhai hyn
sy raid eu gwneuthur, ac na adawer y lleill heb eu
gwneuthur.
y Marc 12, 38 43 y Gwae chwi Pharisæaid, canys yr ydych yn caru
yr eisteddleoedd cyntaf yn y Synagogau, a [chael]
cyfarch yn y marchnadoedd.
z Sal. 55, 21 a 12, 2 44 z Gwae chwi'r scrifennyddion a'r Pharisæaid y
rhai ydych ragrithwyr: am eich bod fel beddau
anamlwg, a'r dynion y rhai a rodiant arnynt heb eu
hadnabod.
a Rhuf. 2, 15 2 Tim. 4, 3 45 a Yna yr attebodd un o'r cyfreithwyr, ac y dy-
wedodd wrtho, Athro wrth ddywedyd hyn, yr wyt yn
ein gwradwyddo ninnau hefyd.
b Mat. 15, 9 a 23, 4 46 b Yntef a ddywedodd, Gwae chwithau hefyd y

cyfreith-wyr, canys yr ydych yn llwytho dynion â
beichiau anhawdd eu dwyn: ac nid ydych chwi yn
cyffwrdd â'r beichiau ag un o'ch bysedd.
47 c Gwae chwy-chwi, canys yr ydych yn adeiladu c Mat. 23, 29
beddeu'r prophwydi, a'ch tadau chwi a'u lladdodd
hwynt.
48 d Felly yr ydych yn testiolaethu eich bod yn d Rhuf. 1, 32
fodlon i weithredoedd eich tadau, canys hwynt hwy Mat. 23,
a'u lladdasant hwynt, a chwithau ydych yn adeiladu 31
eu beddau hwynt.
49 e Am hynny hefyd y dywedodd doethineb Duw, e Diar. 8, 12
Anfonaf attynt brophwydi, ac apostolion, ac o honynt 1 Cor. 1,
rhai a laddant, a rhai a erlidiant. 24
50 f Fel y gofynnir i'r genhedlaeth hon waed yr Mat. 23, 34
holl brophwydi yr hwn a dywalltwyd o ddechreuad y f Sal. 9, 12 Gen. 9, 5
byd: Dat. 18,
51 g O waed Abel hyd waed Zacharias yr hwn a ladd- 21
wyd rhwng yr allor a'r deml: diau meddaf i chwi y g Gen. 4, 8
gofynnir ef i'r genhedlaeth hon. 2 Cron 24 21
52 h Gwae chwy-chwi y cyfreith-wyr, canys chwi a h Mat 15,
ddugasoch ymaith agoriad y gwybodaeth: nid aeth- 9
och i mewn eich hunain, a'r rhai oeddynt yn myned a 2 Pedr 2, 1, 2
waharddasoch chwi. Mat. 23,
53 Fel yr oedd efe yn dywedyd y pethau hyn wrth- 13
ynt, y dechreuodd yr Scrifennyddion a'r Pharisæaid
fod yn daer arno, a'i annog i siarad am lawer o bethau.
54 Gan ei gynllwyn ef, ac yn ceisio hela rhyw beth
o'i ben ef, i gael achwyn arno.

## PEN. XII.

*Crist yn gwahardd rhagrith y Pharisæaid,* 4, *A gofulu am y corph yn fwy na'r enaid,* 13, *Yn gwrthod rhanu tir,* 22, *Yn gwahardd gormod gofal,* 33, *Yn wiliadwrus,* 49, *Yn ddioddefgar,* 54, *Yn adnabod amser iechydwriaeth,* 58, *Ac yn gytun.*

YN i y cyfamser pan ymgasclodd yng-hyd liaws i Mat. 16 6
aneirif o bobl, hyd oni ymsathre'r naill y llall, y Marc 8, 15
dechreuodd efe ddywedyd wrth ei ddiscyblion, yn
gyntaf, Mogelwch rhag surdoes y Pharisæaid, yr hwn
yw rhagrith.
2 Canys nid oes dim cuddiedig a'r nas datcuddir, na
dim dirgel a'r na's gwybyddir.
3 Am hynny y pethau a ddywedasoch yn y tywyllwch
a glywir yn y goleu, a'r peth a ddywedasoch yn y glust
mewn lleoedd dirgel a bregethir ar bennau'r tai.
4 j Yr wyf yn dywedyd wrthych fyng-hyfeillion, j Ioan 15, 14
Nac ofnwch y rhai sydd yn lladd y corph, ac wedi
hynny nid oes ganddynt ddim a wnelant mwy.
5 Rhagddangosaf i chwi pwy a ofnwch, ofnwch ef,
yr hwn, pan ddarffo iddo ladd, sydd ag awdurdod
ganddo i fwrw i uffern: yn ddiau meddaf i chwi, ofn-
wch hwnnw.
6 k Oni phrynir pump o adar y tô er dwy hatling? k Sal. 56,
ac etto nid oes un o honynt mewn angof ger bron Duw. 6 a 145, 15
7 l Hefyd y mae blew eich pennau chwi yn gyfrifedig l 1 Pedr 5, 7
oll, am hynny nac ofnwch, yr ydych chwi yn well na Phil 4. 6
llawer o adar y tô.
8 m Ac meddaf i chwi, Pwy bynnag a'm cydnabyddo m Sal. 119 46
i ger bron dynion, Mab y dyn a'i cydnebydd yntef Act. 4, 19
ger bron angelion Duw.
9 n A'r hwn a'm gwado i ger bron dynion, a wedir n 2 Tim. 2, 12
ger bron angelion Duw.
10 o A phwy bynnag a ddywed air yn erbyn Mab y o Mat 12, 31
dyn, fe a faddeuir iddo; eithr i'r neb a gablo'r Yspryd 1 Tim. 1, 13
Glan ni faddeuir.
11 A phan i'ch dygant i'r synagogau, ger bron y

llywiawdwyr a gwyr mewn awdurdod, na ofelwch pa
fodd, neu beth a atteboch drosoch, neu beth a ddy-
wedoch:
pMat.10, 12 [p] Canys yr Yspryd Glân a'ch dysc chwi yn yr awr
19 Sal.46,1 honno, beth sydd raid ei ddywedyd.
Gen. 22, 13 [q] Rhyw un o'r dyrfa a ddywedodd wrtho, Athro,
14 qPhil.2, dywet wrth fy mrawd am rannu â myfi 'r etifeddiaeth.
21 14 Yntef a ddywedodd wrtho, Y dyn, pwy a'm
Rhuf.12, 7 gwnaeth i yn farn-wr neu yn rhann-wr arnoch?
2Tim.2,4 15 [r] Am hynny y dywedodd efe wrthynt, Edrychwch
r1Tim 6, 10 a mogelwch rhac cybydd-dod, canys nid yw bywyd
Mat. 13, neb yn sefyll ar amlder y pethau ydynt ganddo.
23 2Pedr 2, 16 [s] Ac efe a draethodd wrthynt ddammeg, gan ddy-
3 wedyd, Tir rhyw wr goludog fu ffrwythlon:
sIob21,10 17 Am hynny yr ymrysymme efe ynddo ei hun, gan
Mat.5,45 ddywedyd, Beth a wnaf am nad oes gennif le i gasclu
fy ffrwythau iddo?
t Iago 4, 18 [t] Ac efe a ddywedodd, Hyn a wnaf: mi a dynnaf
13 Mat.6,19 i lawr fy yscuboriau, ac a adeiladaf rai mwy, ac yno y
Phil.1,21 casclaf fy holl ffrwythau da:
19 Ac mi a ddywedaf wrth fy enaid, O enaid y mae
i ti dda lawer wedi eu gosod [i gadw] tros lawer o flyn-
yddoedd, gorphwysa, bwyta, ŷf, bydd lawen.
u 1 Sam. 25,25 20 [u] Eithr Duw a ddywedodd wrtho, Oh ynfyd: y
1Thes.5, nos hon y mynnant dy enaid oddi wrthit: ac yna pwy
3 Dan 4,31 piau y pethau a baratoaist.
v1Tim 6 21 [v] Felly y mae 'r hwn a dryssoro iddo ei hun, ac
17 nid yw gyfoethog tu ag at Dduw.
Iago 2,5 wPhil.4, 22 [w] Ac efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Am
6 hynny yr wyf yn dywedyd wrthych, Na chymmerwch
Sal.55,22 ofal am eich bywyd, beth a fwytäoch, neu am eich
1Pedr 5, 7 corph beth a wisgoch.
Mat.6,25 23 Y bywyd sydd fwy na'r ymborth, a'r corph sydd
fwy na'r dillad.
xIob39 3 24 [x] Ystyriwch y brain: canys nid ydynt yn hau, ac
Salm147, nid ydynt yn medi, ac nid oes iddynt na chell, nac
9 yscubor, ac y mae Duw yn ei porthi hwynt, pa faint
yr ydych chwi well na'r adar?
yMat. 6, 25 [y] Pwy o honoch trwy ddirfawr ofalu, a ddichon
27 chwanegu at ei faintioli un cufudd?
26 Am hynny oni ellwch wneuthur y peth lleiaf, pa
ham yr ydych yn gofalu am y lleill?
27 Ystyriwch y lili y modd y maent yn tyfu, nid
ydynt yn poeni, nac yn nyddu, ac yr ydwyf yn dywed-
yd i chwi, na bu Salomon yn ei holl ogoniant wedi
ei ddilladu fel un o'r rhai hyn.
z Iago 1, 28 [z] Os yw Duw felly yn gwisco y llyssieun yr hwn
10 1Pedr 1, sydd heddyw yn y maes, ac y foru a deflir i'r ffwrn,
24 aHab. 3, pa faint mwy chwy-chwi, o rai bychain eich ffydd?
17 29 [a] Am hynny nac ymofynwch, pa beth a fwytäoch,
Heb.13,5 neu pa beth a yfoch, ac nac amheuwch.
b1Cor.3, 30 Canys y mae cenhedloedd y byd yn ceisio hyn oll,
21 1Tim.4,8 ac y mae eich Tad chwi yn gwybod fod arnoch eisiau
1Bren.3, 'r pethau hyn.
13 Rhuf. 8, 31 [b] Eithr yn hytrach, ceisiwch deyrnas Dduw, a'r
32 cMat.11, pethau hyn oll a roddir i chwi yn chwaneg.
26 32 [c] Nac ofna, braidd bychan; canys rhyngodd bodd
Rhuf. 6, 23 i'ch Tad roddi i chwi y deyrnas.
2Pedr 1, 33 [d] Gwerthwch yr hyn sydd gennych, a rhoddwch
11 elusen, gwnewch i chwi byrsau y rhai ni heneiddiant,
dAct. 4, 34 tryssor yn y nefoedd, yr hwn ni dderfydd, lle ni ddaw
Mat.6,20 Diar. 19, lleidr, ac ni lygra pryf.
17 34 Canys lle mae eich tryssor chwi, yno y bydd eich
e1Pedr 1 calon.
13 Mat.5,16 35 [e] Bydded eich lwynau wedi eu gwregysu, a'ch

canhwyllau yn oleu:
36 [f] A byddwch debyg i ddynion yn dysgwyl pa bryd fMat.25
y daw eu harglwydd o'r neithior: megis pan ddelo 1
efe a churo ['r drws], yr agorant iddo yn ebrwydd. Dat.3,20
37 [g] Gwyn eu byd y gweision hynny, y rhai a gaiff gDat.16,
eu harglwydd pan ddel yn effro: yn wir meddaf i chwi, 15 Mat. 24,
efe a ymwregysa, ac a wna iddynt eistedd i lawr, ac a 46
ddaw, ac a wasanaetha arnynt hwy.
38 [h] Ac os daw efe ar yr ail wylfa, neu os y drydedd hMarc14
wylfa y daw, a'i cael hwynt felly, gwyn eu byd y gweis- 25
ion hynny.
39 [i] A hyn gwybyddwch, pe gwype gwr y tŷ pa awr iMat. 24
y deue'r lleidr, efe a wilie, ac ni adawe gloddio i'w dŷ. 43
40 [j] Am hynny byddwch chwithau barod; canys yr awr j1Thes.5
ni thebygoch y daw Mab y dyn. 2, 3 2Pedr 3,
41 Yna y dywedodd Petr wrtho, O Arglwydd, ai i ni 10
yr wyt yn dywedyd y ddammeg hon, ynte i bawb?
42 [k] A'r Arglwydd a ddywedodd, Pwy sydd orchwil- k1Cor.4,
iwr ffyddlawn, a phwyllog, yr hwn y gesyd ei arglwydd 2 Act. 20,
ef ar ei deulu, i roddi iddynt eu cyflynniaeth yn ei 28
amser? Eph.2,19
43 [l] Gwyn ei fyd y gwas hwnnw, yr hwn y caiff ei ar- l1Cor. 9,
glwydd ef pan ddel yn gwneuthur felly. 24
44 Yn wir meddaf i chwi, efe a esyd hwnnw [yn llyw-
odraethwr] ar gwbl ag sydd eiddo.
45 [m] Eithr os dywed y gwas hwnnw yn ei galon, Fy m2Pedr
Arglwydd a oeda ddyfod, ac felly a ddechreu guro y 3, 4
gweision, a'r morwynion, a bwytta, ac yfed, a meddwi;
46 [n] Daw arglwydd y gwas hwnnw, mewn dydd nad nIob 20,
yw efe yn meddwl, ac ar yr awr nid yw efe yn gwy- 29
bod, ac a'i tyrr ef ymmaith, ac a ddyry iddo ef ran
gyd â'r anffyddloniaid.
47 [o] Y gwas hwnnw yr hwn a wybu ewyllys ei ar- o Iago 4,
glwydd, ac nid ymbaratodd, ac ni wnaeth yn ol ei 17 Mat. 11,
ewyllys ef, a gurir â llawer [ffonnod]. 24
48 [p] Eithr yr hwn ni wybu, ac a wnaeth bethau yn p1Thes4
haeddu ffonnodiau, a gurir ag ychydig [ffonnodiau]: 8
yn enwedig i bwy bynnag y rhodded llawer, llawer a
ofynnir ganddo; a chyd â phwy bynnag y gadawsant
lawer, y ceisiant fwy ganddo.
49 [q] Mi a ddaethym i yrru tân ar hyd y ddaiar, a qMat.10,
pheth a'fynnaf i, od yw efe wedi cynneu eusys? 34 1Pedr 1,
50 [r] Eithr y mae i mi fedydd i'm bedyddio âg ef: ac 7
mor flin yw arnaf nes darfod. rMat.20,
51 [s] A ydych chwi yn tybied fy nyfod i i roddi hedd- 22 s Ioan 7,
wch ar y ddaiar? na ddo meddaf i chwi, ond ymrafael. 40
52 [t] Canys o hynn allan y bydd pump yn yr un tŷ, Act.13, 44
wedi ymrannu, tri yn erbyn dau, a dau yn erbyn tri, a 28,24
53 Y tad a ymranna yn erbyn y mab, a'r mab yn tMat. 10, 35
erbyn y tad: y fam yn erbyn y ferch, a'r ferch yn erbyn Mica 7,6
y fam: y chwegr yn erbyn ei gwaudd, a'r waudd yn Act.5,29 Eph. 6,1
erbyn ei chwegr. uMat.16,
54 [u] Yna efe a ddywedodd wrth y dyrfa, Pan weloch 2
gwmmwl yn codi o'r gorllewyn, yn y fan y dywedwch, Phil.3,19
Y mae cafod yn dyfod, ac felly y mae.
55 A phan weloch y deheuwynt yn chwythu, y dy-
wedwch y bydd hi gwresoc, a hi a fydd.
56 [v] Oh ragrithwyr, medrwch farnu wynebpryd y vMat.16,
ddaiar a'r wybr, a pha ham nad ydych yn deall y 3, 4, 5
cyfamser hwn?
57 [w] Pa ham nad ydych o honoch eich hunain yn w 1 Cor.
barnu beth sydd gyfiawn? 11, 31
58 Pan fyddych yn myned gyd â'th wrthwynebwr at
bennaeth, gwna dy oref ar y ffordd i gael myned yn
rhydd oddi wrtho, rhac iddo dy ddwyn at y barnwr,

ac i'r barnwr dy roddi at y rhingill, ac i'r rhingill dy
fwrw i'r carchar.
59 Yr wyf yn dywedyd i ti, Nad ai di ymaith oddi
yno, oni thelech yr hatling eithaf.

## PEN. XIII.

*Crist yn dangos nad y mwyaf ei adfyd sydd fwyaf ei bechod, 6 A bod Duw yn ymarhous wrth bechaduriaid. 11, Yn iachau y wraig grepach, ac yn atteb llywydd y Synagog am y Sabboth. 18, Dammeg yr hâd mwstard a'r surdoes. 25. Gwrthodiad yr Iddewon, a derbynniad y Cenhedloedd. 34, Crist yn tosturio am ddinystr Ierusalem.*

x Act. 5, 37 AC [x] yr oedd yn bresennol y cyfamser hwnnw, rai
yn mynegu iddo am y Galilæaid y rhai y cym-
myscase Pilatus eu gwaed a'u haberthau.
y Act. 28, 4 2 [y] A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, A
Iob 6,6,7 ydych chwi yn tybied fod y Galilæaid hynn yn fwy
pechaduriaid na'r holl Galilæaid [eraill,] am iddynt
oddef y cyfryw bethau?
z Pen. 19, 43 3 [z] Nac oeddynt, meddaf i chwi: ac oni edifarheuwch
Rhuf. 2, 8, 9 chwithau, chwi a gollir yn yr un modd oll.
4 [a] Neu yr daunaw hynny ar y rhai y syrthiodd y
a Esa. 8, 6 twr yn Siloe, ac ai lladdodd: a ydych chwi yn tybied
Ioan 9, 7 eu bod hwynt yn bechaduriaid mwy na'r rhai oll a
oeddynt yn cyfanneddu yn Ierusalem?
5 Nac oeddynt, meddaf i chwi, eithr onid edifarheu-
wch, derfydd am danoch chwi oll yn yr un modd.
b Mat. 18, 24 6 [b] Ac efe a ddywedodd y ddammeg hon: Yr oedd
Esa. 5, 7 gan un ffigysbren wedi ei blannu yn ei winllan, ac efe
Can. 4, 16 a ddaeth i geisio ffrwyth arno, ac nis cafodd.
Mat. 21, 19 7 [c] Yna y dywedodd wrth y gwinllannydd, Wele tair
c Rhuf. 2, 4 blynedd y daethym i geisio ffrwyth ar y ffigysbren hwn,
2 Pedr 3, 9 ac nid ydwyf yn cael dim: torr ef i lawr, pa ham y
mae efe yn diffrwytho'r tir?
Rhuf. 11, 19 8 [d] Yntef a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, O Ar-
d Ex. 32, 11 glwydd, gad iddo'r flwyddyn hon, oni ddarffo i mi
Ier. 18, 20 gloddio o'i amgylch a bwrw tail:
1 Sam. 12, 23 9 [e] Ac os dwg efe ffrwyth[gad ef,] onid ê, gwedi hynny,
y torri ef i lawr.
e 2 Cron. 36, 16 10 [f] Ac yr oedd efe yn dyscu yn un o'r synagogau ar
f Mat. 9, 35 y dydd Sabboth.
g Ioan 5, 5 11 [g] Ac wele 'r oedd yno wraig, ac ynddi ysbryd
9 gwendid er ys daunaw mlynedd, ac yr oedd wedi
Hab. 2, 3 myned yn grom, ac ni alle hi mewn modd yn y byd
iniawni.
h Hab. 4, 15 12 [h] Pan welodd yr Iesu hon, efe a'i galwodd hi, ac a
ddywedodd wrthi, Y wraig, rhyddhawyd ti oddi wrth
Mat. 9, 36 dy wendid.
13 Ac efe a roddes ei ddwylaw arni, ac ebrwydd
hi a iniawnwyd, ac a foliannodd Dduw.
i Marc 5, 22 14 [i] A'r archsynagogudd (yn ddicllon am i'r Iesu
iachau ar y Sabboth) a ddywedodd wrth y bobl, Chwe
diwrnod sydd, yn y rhai y dylid gweithio: ar y rhai
hynny deuwch, ac iachaer chwi, ac nid ar y dydd Sab-
both.
j Mat. 7, 5 15 [j] A'r Arglwydd a'i attebodd ef, ac a ddywedodd,
Preg. 12, 11 O ragrithiwr, oni ollwng pawb o honoch chwi ei ŷch
neu eu asyn o'r preseb, a'u dwyn i'r dwfr ar y dydd
Sabboth?
16 A hon gan ei bod yn ferch Abraham, yr hon a
rwymase Satan er ys daunaw mlynedd, oni ddylid ei
gollwng o'i rhwym ar y dydd Sabboth?
k Mat. 12, 3 17 [k] A phan ddywedodd efe y pethau hyn, ei holl
wyrthwynebwyr ef a gywilyddiasant: ond yr holl bobl
a lawenychasant am yr holl weithredoedd gogoneddus
a'r a wnaethe efe.
18 Yna efe a ddywedodd, I ba beth y mae teyrnas
Dduw yn debyg: neu i ba beth y cyffelybaf hi?
19 [l] Tebyg yw i ronyn o hâd mwstard, yr hwn a gy- l 1 Cor. 1, 26
merodd dyn, ac ai hauodd yn ei ardd, ac efe a dyfodd Mat. 18, 20
yn bren mawr, ac adar yr awyr a nythasant yn ei Dan. 2, 44
ganghennau.
20 Ac eilwaith y dywedodd, I ba beth y cyffelybaf
deyrnas Dduw?
21 [m] Cyffelyb i surdoes, yr hwn a gymmerodd gwraig, m Iago 1 21
ac ai cuddiodd mewn tri mesur o flawd hyd oni surodd 1 Thes 5, 23
y cwbl oll.
22 [n] Ac efe a drammwyodd drwy yr holl ddinasoedd n Mat. 9, 35
a threfi gan ddyscu [pawb] wrth ymdaith i Ierusalem. Marc 6 6
23 A dywedodd un wrtho, Arglwydd, ai ychydig Act. 10, 38
[sydd] o'r rhai cadwedig? ac efe a ddywedodd wrth-
ynt,
24 [o] Ymdrechwch am fyned i mewn i'r porth cyfing, o Ioan 7, 34
canys llawer meddaf i chwi a geisiant fyned i mewn, a 8, 21
ac nis gallant. a 13, 33
25 [p] Pan gyfodo gwr y tŷ, a chaeu y drws, a dechreu Rhuf. 9, 31
o honoch sefyll oddi allan, a churo'r drws gan ddyw- p Esa. 55, 6
edyd, Arglwydd, Arglwydd, agor i ni, ac atteb o honaw
yntef, a dywedyd wrthych, Nid adwaen ddim o ho- Mat. 25, 10
noch o ba le yr ydych.
26 [q] Yna y dechreuwch ddywedyd, Bwyttasom, ac q 1 Cor 11 29
yfasom yn dy ŵydd di, a dyscaist yn ein heolydd ni.
27 [r] Ac efe a ddywed, Yr wyf yn dywedyd i chwi, r Mat. 7, 23
Nid adwaen chwi, o ba le yr ydych; ewch ymaith oddi a 25, 41
wrthif, chwy-chwi oll weithredwyr anwiredd.
28 [s] Yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd, pan s Pen. 16, 23
weloch Abraham, ac Isaac, ac Iacob, a'r holl broph- Mat. 3, 11
wydi yn nheyrnas Dduw, a chwithau wedi eich bwrw
allan.
29 [t] Yna y daw [llawer] o'r dwyrain, a'r gorllewyn, a'r t Mal. 1, 11
gogledd, a'r dehau, ac a eisteddant yn nheyrnas Dduw. Pen. 14,
30 Ac wele, y diweddaf fyddant gyntaf, a'r cyntaf 15
fyddant ddiweddaf.
31 [u] Ar y dydd hwnnw y daeth atto rai o'r Pharisæaid, u Amos 7, 13
ac a ddywedasant wrtho, Dos ymaith, a cherdda oddi Neh. 6, 10
ymma, canys y mae Herod yn ewyllysio dy ladd di.
32 [v] Yna y dywedodd efe wrthynt, Ewch, a dywed- v Heb. 2, 10
wch wrth y cadnaw hwnnw, Wele, bwriaf allan gyth- Ioan 17, 4
reuliaid, a gorphenaf iachau heddyw, ac y foru, a'r a 19, 30
trydydd dydd i'm perffeithir.
33 [w] Er hynny rhaid i mi ymdaith heddyw, ac y foru, w Salm 31 15
a thrennydd; canys ni all darfod am brophwyd allan Ioan 19,
o Ierusalem. 11
34 O Ierusalem, Ierusalem, yr hon ydwyt yn lladd
y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir attat,
pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant, fel y casgl
iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynnit ti.
35 [x] Wele eich tŷ a adewir i chwi yn anghyfannedd; x Act 3, 21
yn wir yr wyf yn dywedyd wrthych, na welwch fi, hyd Salm 118,
oni ddel yr amser pan ddywettoch, Bendigedig yw yr 26
hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd.

## PEN. XIV.

*Crist wrth giniawa gyd â Pharisæaid yn iachau un claf o'r dropsi ar y dydd Sabboth, 8, Yn dyscu i ni fod yn ostyngedig, a dangos ein haelioni ar y tlodion, 15, A'r ddameg o swpper yn dangos gwrthodiad yr Iddewon a galwedigaeth y cenhedloedd, ac yn gosod allan gyflwr ei ddiscyblion ef y rhai ydynt halen y ddaiar,*

BU [y] hefyd pan ddaeth efe i dŷ un o'r Pharisæaid y Ioan 3, 1
pennaf ar y Sabboth i fwytta bwyd, ddisgwil o Salm 37, 32
honynt ef. Ier. 20, 10

zSalm140 2 [z] Ac wele,'r oedd ger ei fron ef ryw ddyn yn glaf
5 Iob 5,13, o'r dropsi.
14 3 [a] A'r Iesu gan atteb a lefarodd wrth y cyfreith-
aMat.2,4 Pen. 11, wyr a'r Pharisæaid, gan ddywedyd, Ai rhydd iachau
45 ar y dydd Sabboth?
4 A thewi a wnaethant; yna y cymmerth efe [y claf,]
ac ai iachaodd ef, ac ai gollyngodd ymmaith.
5 Ac ai attebodd hwynt, gan ddywedyd, Pwy o ho-
noch os syrth ei asyn neu ei ŷch mewn pwll, ni thynn
ef allan ar y dydd Sabboth?
bPen 13, 17 6 [b] Ac ni allent roi atteb yn ei erbyn ef am y pethau
Act. 6,10 hyn.
Rhuf. 2, 15 7 Ac efe a ddywedodd ddameg i'r gwahaddedigion,
pan ystyriodd fel yr oeddynt yn dewis yr eistedd-
leodd uchaf, gan ddywedyd wrthynt,
8 Pan i'th wahodder gan neb i neithior, nac eistedd
yn y lle uchaf, rhag bod un anrhydeddusach na thi
wedi ei wahadd ganddo,
9 Ac i hwn a'th wahoddodd di, ac yntef ddyfod, a
dywedyd wrthyt, Dod le i hwn, ac yna dechreu o honot
ti trwy gywilydd, gymmeryd y lle isaf.
10 Eithr pan i'th wahodder, dos, ac eistedd yn y lle
isaf, fel pan ddelo yr hwn a'th wahoddodd di, y gallo
efe ddywedyd wrthit, O gyfaill, eistedd yn uwch i fynu:
yna y bydd i ti glod yngŵydd y rhai a eisteddant gyd
â thi ar y bwrdd.
cMat. 23 12 11 [c] Canys y neb ai derchafo ei hun a ostyngir: a'r
neb ai gostyngo ei hun a dderchefir.
12 Ac efe a ddywedodd hefyd wrth yr hwn ai gwa-
haddase ef, Pan wnelech ginio neu swper, na alw dy
gyfeillion na'th frodyr, na'th geraint, na'th gymydog-
ion goludog, rhag iddynt cilchwel dy wahadd dithe,
a thalu i ti:
dPreg 11 1 13 [d] Eithr pan welech wledd galw'r tlodion, a'r
Sal. 41. 1 efryddion, a'r cloffion, a'r deillion.
eMat 25, 14 [e] A gwyn dy fyd, am na allant dalu'r pwyth i ti:
36 canys fe a delir i ti yn adgyfodiad y rhai cyfiawn.
1Tim. 6, 19 15 [f] A phan glywodd ryw un o'r rhai oedd yn eistedd
Ioan5.29 y pethau hyn, efe a ddywedodd wrtho, Gwyn ei fyd y
Act. 24, 15 neb a fwyttao fwyd yn nheyrnas Dduw.
2Tim. 1, 16 16 [g] Ac yntef a ddywedodd wrtho, Rhyw wr a wnaeth
f Dat.19, swpper mawr, ac a wahoddodd lawer;
9 17 [h] Ac a ddanfonodd ei wasbryd swpper, i ddywed-
g Mat. 22 2 yd wrth y rhai a wahoddasid, Deuwch, canys yr awr
Dat. 19,9 hon y mae pob peth yn barod.
Esa. 55 1 18 [i] A hwy oll a ddechreuasant ymescusodi: y cyn-
hDiar. 9, 2, 5 taf a ddywedodd wrtho, Mi a brynais dyddyn, ac y
iMat. 13, 22 mae yn rhaid i mi fyned iw weled, attolwg i ti escus-
Pen. 12, 15 oda fi.
19 Ac arall a ddywedodd, Mi a brynais bum iau o
ychen, ac yr ydwyf i yn myned iw profi hwynt, attol-
wg i ti escusoda fi.
j1Cor. 7, 20 20 [j] Ac arall a ddywedodd, Mi a briodais wraig, ac
am hynny ni allaf i ddyfod.
kMat.11 28 21 [k] A'r gwas pan ddaeth [adref] a ddangosodd y
pethau hyn iw arglwydd; yna gwr'y tŷ yn ddigllon a
ddywedodd wrth ei was, Dos allan ar frys i'r heol-
ydd, ac ystrydoedd y ddinas, a dwg i mewn ymma y
tlodion, a'r anafus, a'r cloffion, a'r deillion.
22 A'r gwas a ddywedodd, Arglwydd fe a ddarfu
gwneuthyd fel y gorchymynnaist, ac etto y mae lle.
l Pen. 26 29 23 [l] A'r Arglwydd a ddywedodd wrth y gwas, Dos
i'r priffyrdd, a'r caeau, a chymmell hwynt i ddyfod i
mewn, fel y cyflawner fy nhŷ.
m Rhuf. 11, 1 24 [m] Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, Na chaiff yr
un o'r gwyr hynny a wahoddwyd brofi o'm swpper i.
25 A llawer o bobl a gyd-gerddodd ag ef, ac efe a
droes, ac a ddywedodd wrthynt,
26 [n] Os daw neb attaf i, ac ni chasao ei dad, a'i fam, nMat. 10
a'i wraig, a'i blant, a'i frodyr, a'i chwiorydd, ie, a'i 37
enaid ei hun hefyd, ni all efe fod yn ddiscybl i mi.
27 [o] A phwy bynnag ni ddycco ei groes, a'm canlyn i, oMat 10,
ni all efe fod yn ddiscybl i mi. 38
28 [p] Canys pwy o honoch chwi a'i fryd ar adailadu pAct.20,
twr, nid eistedd yn gyntaf, a bwrw'r draul [i edrych] a 23
oes ddigon ganddo iw orphen,
29 Rhag wedi iddo osod y sail, ac heb allu ei orphen,
ddechreu o bawb ar a'i gwelant, ei watwar ef,
30 [q] Gan ddywedyd, Y dyn hwn a ddechreuodd ad- qGal.3,3
ailadu, ac ni allodd ei orphen. 4
31 Neu pa frenin yn myned i ryfela yn erbyn brenin
arall, nid eistedd yn gyntaf, ac ymgynghori a all efe
â deng mil gyfarfod a'r hwn sydd yn dyfod yn ei erbyn
ef âg ugain mil?
32 Neu tra fyddo efe ym mhell oddiwrtho, efe a
ddenfyn genadwr, ac a ddeisyf gael heddwch.
33 Felly hefyd, pwy bynnac o honoch nid ymwrth-
odo a chymmaint oll ag a feddo efe, ni all fod yn
ddiscybl i mi.
34 [r] Da yw halen; eithr o bydd yr halen yn ddiflas, r2Thes.6
â pha beth yr helltir ef? 3
35 [s] Nid yw efe gymmwys nac i'r tir, nac i'r domen, sMat. 5,
onid i'w fwrw allan: y neb sydd iddo glustiau i wr- 13 Ezec. 15,
ando gwrandawed. 2

## PEN. XV.

*Crist yn atteb y Pharisæaid y rhai oeddynt yn grwgnach am*
*ei fod efe yn derbyn pechaduriaid; 4, Yn gyntaf trwy*
*ddammeg yr un ddafad a gollasid o gant, 11, A'r mab*
*ieuangaf yr hwn a fuase afradlon, 28, A'r atteb a gafodd*
*y mab hynaf am ei sorriant.*

AC [t] yr oedd yr holl Bublicanod a'r pechaduriaid yn tMat.11,
dyfod atto ef, i wrando arno. 28 Ezec. 18,
2 [u] A'r Pharisæaid, a'r scrifennyddion, a rwgnach- 23
asant gan ddywedyd, Y mae mae hwn yn derbyn pech- 1Tim. 1, 15
aduriaid, ac yn bwytta gyd â hwynt. uMarc9,
3 Yna yr adroddodd efe y ddammeg hon wrthynt, 11
gan ddywedyd,
4 [v] Pa un o honoch a chanddo gant o ddefaid, ac os vMat.18,
cyll un o honynt, oni âd yr amyn un pum ugain yn yr 12
anialwch, ac a gerdd ar ol yr hon a gollwyd, hyd oni
chaffo efe hi?
5 [w] Ac wedi iddo ei chael, efe a'i rhydd hi ar ei ys- wIoan 4,
cwyddau trwy lawenydd. 7, 8 Phil. 1,6
6 A phan ddel adref, efe a eilw ynghyd ei gyfeillion ai Ezec.34,
gymydogion, gan ddywedyd wrthynt, Llawenhewch 16
gyd â mi, canys cefais fy nafad yr hon a gollase.
7 [x] Yr wyf yn dywedyd i chwi, mai felly y bydd llaw- xPen 2,
enydd yn y nef am un pechadur edifeiriol, mwy nag 13a 1, 19 Diar.30,
am onid un pum ugain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid 12
iddynt wrth edifeirwch. Preg. 7, 22
8 [y] Neu pa wraig ac iddi ddec o ddracmonau os cyll Mat. 18,
hi un ddracmon, ni oleu ganwyll, ac yscubo'r tŷ, a 13 y2Tim.4
chwilio yn fanwl hyd onis caffo [hi]? 2
9 [z] Ac wedi iddi ei chael, hi a eilw ei chyfeillesau a'i 1Thes.2,
chymydogesau, gan ddywedyd, Cyd-lawenychwch â 2 z1Thes 2
mi, canys cefais fy nracmon yr hon a gollaswn. 19
10 Felly meddaf i chwi, y mae llawenydd yngŵydd
angelion Duw am un pechadur a edifarhao.
11 Ac efe a ddywedodd, Yr oedd i ryw wr ddau fab,
12 [a] A'r hynaf o honynt a ddywedodd wrth ei dad, a Sal. 17, 14

fy nhad, dyro i mi y rhann a ddigwydd o'r da, ac efe a
rannodd iddynt ei dda,
b Eph. 2. 13 13 b Ac yn ol ychydic ddyddiau, wedi i'r mab ieu-
angaf gasclu y cwbl yng-hyd, efe a gymmerth ei daith
i wlad bell, ac yno efe a wascarodd ei dda, gan fyw yn
afradlon.
c Marc 8. 36 Hos. 5, 15 14 c Ac wedi iddo dreulio'r cwbl, y cododd newyn
mawr trwy'r wlad honno, ac yntef a ddechreuodd
fod mewn eisieu.
15 Yna efe a aeth, ac a lynodd wrth un o ddinaswyr
y wlad honno, yr hwn a'i danfonodd ef iw faer-dref i
borthi ei fôch.
d Galat. 4 5 16 d Ac efe a chwennyche lenwi ei fol o'r cibau y
rhai a fwyttae'r môch: ac nis rhodde neb iddo.
e Act. 26. 11 Preg. 9, 3 17 e A phan ddaeth atto ei hun, efe a ddywedodd, Pa
sawl gwas cyflog o eiddo fy nhad sydd yn cael eu gwala
o fara? a minne yn marw o newyn.
f Mat. 11, 18 Pen 11. 15 Diar. 5, 21 18 f Mi a godaf, ac à âf at fy nhad, ac a ddywedaf
wrtho, Fy nhad, pechais yn erbyn y nef, ac o'th flaen
dithe.
19 Ac mwyach nid ydwyf deilwng i'm galw yn fab i
ti: gwna fi fel un o'th weision cyflog.
g Rhuf. 4 5 Pen. 13, 13 Ezec. 16, 6 20 g Felly, efe a gododd, ac a aeth at ei dad, a phan
oedd efe etto ym mhell oddi wrtho, ei dad ai canfu ef,
ac a dosturiodd, a chan redeg efe a syrthiodd, ar ei
wddf ef, ac ai cusanodd.
21 A'r mab a ddywedodd wrtho, Fy nhad, pechais yn
erbyn y nef, ac o'th flaen dithe, ac nid ydwyf mwy
deilwng i'm galw yn fab i ti.
h Mat. 22 11 Rhuf. 8. 5 Eph. 6, 15 Salm 45, 2 22 h A'r tad a ddywedodd wrth ei weision, Dygwch
allan y wisc oref, a gwiscwch hi am dano ef, a rhodd-
wch fodrwy ar ei law, ac escidiau am ei draed.
23 A dygwch y llo pascedig, a lleddwch ef, a bwyt-
tawn, a byddwn lawen.
i Eph. 2, 1 24 i Canys fy mab hwn oedd farw, ac a aeth yn fyw
trachefn: ac efe a gollesid, ac a gaed: a hwy a ddech-
reuasant wneuthur yn llawen.
j Act. 8, 39 1 Thes. 1. 8 Rhuf. 5, 1 25 j Ac yr oedd y mab hynaf yn y maes, a phan
ddaeth efe a nesau at y tŷ, efe a glywodd gerdd a
dawnsio,
26 Ac wedi iddo alw un o'r gweision, efe a ofynnodd
beth oedd hynny.
27 A hwnnw a ddywedodd wrtho, Dy frawd ti a
ddaeth [adref,] a'th dad a laddodd y llo pascedig, am
iddo ei dderbyn ef yn iach adref.
k Mat 20. 15 Act. 13, 45 28 k Yna y digiodd efe, ac nid ae i mewn: am hynny
y daeth ei dad ef allan, ac a ymbiliodd ag ef.
a 11. 18 l Mat. 6, 2 a 15, 8 a 16, 15 29 l Ac yntef a attebodd ac a ddywedodd wrth ei
dad, Wele, er ys hynn o flynyddoedd yr ydwyf yn
dy wasanaethu di, ac ni throseddais i un amser dy
orchymyn: ac er hynny ni roddaist i mi erioed fynn
i wneuthur yn llawen gyd â'm cyfeillion.
30 Eithr pan ddaeth dy fab hwn [adref] yr hwn a
dreuliodd dy dda di gyd â phuteiniaid, ti a leddaist
iddo ef y llo pascedig.
31 Ac efe a ddywedodd wrtho, Fy mab, yr ydwyt
ti yn wastadol gyd â mi, a hynn a feddaf sydd eiddot
ti.
m Salm 119. 176 Mat. 18, 12 32 m Rhaid oedd lawenychu a gorfoleddu o blegid
dy frawd hwn a fu farw, ac a aeth yn fyw: a fu goll-
edig, ac a gafwyd.

## PEN. XVI.

*Crist trwy siampl y gorchwiliwr ang-hyfiawn yn annog i haelioni cyfiawn ac elusen. 13. Gan ddangos na all neb wasanaethu dau feistr. 18. Ac na ddyle neb yscar â'i wraig a phriodi arall. 19. Ac yn ddiweddaf yn gosod allan hanes y gwr goludog a Lazarus.*

AC efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Yr oedd
rhyw wr goludog, ac iddo orchwiliwr, ac fe a
gyhuddwyd wrtho ei fod efe yn afradloni ei dda ef.
2 n Efe ai galwodd ef, ac a ddywedodd wrtho, Pa n Gen. 18, 20
beth yw hyn yr wyf yn ei glywed am danat? dyro a 4, 10
gyfrif o'th orchwiliaeth, canys ni elli fod mwy yn Mat. 12, 36
orchwiliwr.
3 o A'r gorchwiliwr a ddywedodd wrtho ei hun, Pa o Gen. 3, 19
beth a wnaf canys y mae fy arglwydd yn dwyn yr Esa. 56, 11
orchwiliaeth oddi arnaf? ni fedraf gloddio, a char- Tit. 1, 12
dotta sydd gywilyddus gennif.
4 Gwnn beth a wnaf, fel pan i'm bwrier allan o'r
orchwiliaeth, y derbyniant fi i'w tai.
5 Ac wedi iddo alw pob un o ddyledwyr ei arglwydd,
efe a ddywedodd wrth y cyntaf, Pa faint sydd arnat
o ddyled i'm harglwydd.
6 Ac efe a ddywedodd, Can mesur o olew: ac efe a
ddywedodd wrtho, Cymmer dy scrifen ac eistedd yn
ebrwydd, ac yscrifenna ddec a deugain.
7 Yna y dywedodd efe wrth un arall, Pa faint o
ddyled sydd arnat ti? ac efe a ddywedodd, Can mesur
o wenith: yna y dywedodd efe wrtho, Cymmer dy
scrifen ac yscrifena bedwar ugain.
8 p A'r Arglwydd a ganmolodd y gorchwiliwr ang- p Diar. 6, 6. 8
hyfiawn, am iddo wneuthur yn gall, o blegit y mae 1 Tim. 6, 19
plant y byd hwn yn gallach yn eu cenhedlaethau eu
hun, na phlant y goleuni. Salm 17, 14
9 q Ac yr wyfi yn dywedyd, Gwnewch i chwi gyfeill- Dat 12, 12
ion o'r golud twyllodrus, fel pan fo eisieu arnoch, i'ch Barn. 18, 19
derbyniant i'r tragywyddol bebyll. Marc 2, 18
10 r Y neb sydd ffyddlon yn y lleiaf, sydd ffyddlon Esa. 5. 8
hefyd mewn llawer: a'r neb sydd ang-hyfiawn yn y Heb. 5, 14
lleiaf, sydd anghyfiawn hefyd mewn llawer. Eph. 5, 3 1 Thes. 5, 5. 8
11 Am hynny, oni buoch ffyddlon yn y golud ang-
hyfiawn, pwy a ymddiried i chwi am y gwir [olud]? q Pen. 19, 8
12 Ac oni buoch ffyddlon yn yr eiddo arall, pwy a 1 Tim 6, 16
rydd i chwi'r eiddoch eich hun? Iob 1, 21
13 s Ni ddichon un gwas wasanaethu dau arglwydd: Act. 10, 4
canys naill ai efe a gasâ un, ac a gar y llall: ai efe a Mat 25, 34
lŷn wrth y naill, ac a ddirmyga'r llall: ni ellwch was- r Pen. 19, 17
anaethu Duw a golyd [bydol].
14 t A'r Pharisæaid hefyd y rhai oeddynt gybyddion Mat. 24, 47
a glywsant y pethau hynn oll, ac a'i gwatwarasant ef. Esa. 53, 7
15 u Yna efe a ddywedodd wrthynt, Chwy-chwi yw s Mat. 6, 24 a 4. 10
y rhai ydych yn eich cyfiawnhau eich hun ger bronn t Mat. 13, 22
dynion: eithr Duw a ŵyr eich calonnau: canys y u Mat. 6, 2, 5
peth sydd uchel gyd â dynion, sydd ffiaidd ger bron Act. 19, 2
Duw.
16 v Y gyfraith, a'r prophwydi [a barhaodd] hyd v Mat. 11, 11
Ioan: ac er hynny o amser y pregethwyd teyrnas
Dduw, a phawb sydd yn ymmwthio iddi.
17 w A haws yw i nef a daiar fyned heibio, nag i un w 1 Pedr 1, 24
tippin o'r gyfraith ballu.
18 x Y mae pwy bynnag a ollyngo ymaith ei wraig, x Mat. 5, 32
ac a briodo un arall, yn godinebu: a phwy bynnag a
briodo hon a ollyngwyd ymaith oddi wrth ei gwr, y y Dat. 17, 4
mae efe yn godinebu. Dat. 18, 7
19 y Yr oedd rhyw wr goludog, ac yn gwisco por- z Preg. 9, 1. 8
phor a sidan main, ac yn cymmeryd ei fyd yn ddaint- Diar. 10 6
eithiol ac yn fwythus beunydd. 1 Pedr 4, 17
20 z Yr oedd hefyd ryw gardottyn a elwid Lazarus, a Gen. 28, 22
yr hwn a orwedde wrth ei borth yn gornwydlyd,
21 a Ac yn chwennychu cael ei borthi â'r briwsion Diar. 29, 14

y rhai a syrthie oddi ar fwrdd y gwr cyfoethog: ond
y cŵn a ddaethant ac a lyfasant ei gornwydydd ef.
b Preg. 2, 16 22 [b] A darfu i'r cardottyn farw, ac efe a dducpwyd
Heb. 1, 14 gan yr angelion i fynwes Abraham, a'r gwr goludog
Rhuf. 4, 12, 16 a fu farw hefyd, ac a gladdwyd.
23 Ac efe yn uffern mewn poenau wrth godi ei olwg,
a ganfu Abraham o hirbell, a Lazarus yn ei fynwes.
c Iago 2, 13 24 [c] Yna efe a lefodd, gan ddywedyd, Y tad Abra-
ham, trugarha wrthif, a danfon Lazarus i drochi pen
ei fŷs mewn dwfr, ac i oeri fy-nhafod: canys fe a'm
poenir yn y fflam hon.
d Esa. 57, 2 25 [d] Ac Abraham a ddywedodd, Ha fab, coffa i ti
Dat 14, 13 dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac felly Lazarus ei
Sal. 37, 37 adfyd: ac yn awr y diddenir ef, ac y poenir dithe.
e Sal. 50, 22 26 [e] Ac heb law hyn oll y mae gagendor wedi gosod
Esa. 50, 33 rhyngom ni a chwi, fel na allo y rhai a fynnent dra-
Ioan 5, 35 mwy oddi ymma attoch chwi, na dyfod oddi yna
ymma.
f Esa. 8, 19 27 [f] [Yntef] a ddywedodd, Attolwg i ti dad, etto
2 Bren. 1, 3 danfon ef i dŷ fy nhad.
Lef. 20, 6 28 [Canys] y mae i mi bump o frodyr: fel y testiol-
aetho iddynt hwy, rhag dyfod o honynt hwythau
hefyd i'r lle poenus hwn.
g Esa 8, 20 29 [g] Abraham a ddywedodd wrtho, Y mae ganddynt
Ioan 5, 39 Moses a'r prophwydi, gwrandawant arnynt hwy.
2 Tim. 3, 16 30 [h] Yntef a ddywedodd, Nag ê, y tad Abraham,
Mat. 17, 5 eithr os aiff un o'r meirw atynt, hwy a edifarhânt.
h Mat. 25, 44 31 [i] [Yna Abraham] a ddywedodd wrtho, Oni wran-
i Ioan 5, 57 dawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredent pe code
un oddi wrth y meirw.

## PEN. XVII.

*Crist yn erchi iw ddiscyblion na rwystrent neu na thramgwy-
ddent y naill y llall, 3. A maddeu o honynt iw gilydd.
6. Gan ddangos mor gref yw ffydd, 10. Ac mor wan
yw dyn o honaw ei hun; 12. Crist yn iachau dec o rai
gwahan-gleifion, 20. Ac yn mynegu am ddiwedd y byd.*

j Mat. 18, 7 YNA [j] y dywedodd efe wrth ei ddiscyblion, Ni all
Deut. 13, 3 amgenach na dyfod rhwystrau, ond gwae ef
trwy 'r hwn y deuant.
2 Gwell fydde iddo pe rhoddid maen melin o am-
gylch ei wddf ef, a'i daflu i'r môr, nag iddo rwystro
un o'r rhai bychain hynn,
k Mat. 13, 15 3 [k] Edrychwch arnoch eich hunain, os gwna dy
frawd yn dy erbyn, cerydda ef: ac os edifarha efe,
maddeu iddo,
4 Ac er iddo wneuthur yn dy erbyn saith-waith yn
y dydd, a throi attat saith-waith yn y dydd, a dywed-
yd, Y mae yn edifar genif: madde iddo.
l Marc 9, 24 5 [l] Yna'r Apostolion a ddywedasant wrth yr Ar-
glwydd, Anghwanega i ni ffydd.
m Mat. 13, 31 6 [m] A'r Arglwydd a ddywedodd, Pe bydde gennych
ffydd gymmaint a gronyn o hâd mwstard, a dywedyd
o honoch wrth y sycamorwydden hon, Ymddad-
wreiddia, ac ymblanna yn y môr: efe a ufuddhae i
chwi.
7 Pwy o honoch chwi, ac iddo was yn aredig, neu
yn porthi anifeiliaid, a ddywed wrtho yn y man pan
ddel o'r maes, Dos, ac eistedd i lawr?
8 Ond yn hytrach a ddywed wrtho, Arlwya i mi i
swpperu, ac ymwregysa a gwasanaetha fi nes i mi
fwytta, ac yfed: ac wedi hynny y bwyttei, ac yr yfi
dithe.
9 A ddiolche efe i'r gwas hwnnw am wneuthur o
hono y pethau a orchymynasid iddo? nid wyf yn
tybied.
10 [n] Felly chwithau hefyd, gwedi i chwi wneuthur n Rhuf. 11, 35
y cwbl oll a orchymynwyd i chwi, dywedwch, Gweis-
ion anfuddiol ydym: o blegit yr hynn a ddylasem ei
wneuthur a wnaethom.
11 [o] A digwyddodd, ac efe yn myned i Ierusalem, o Act. 10, 33
fyned o honaw ef trwy ganol Samaria a Galilæa.
12 [p] A phan oedd efe yn myned i mewn i ryw dref, p Num. 5, 2
y cyfarfu ag ef ddec o wyr gwahan-gleifion, y rhai a
safasent o hirbell,
13 Ac a godasant eu llef, gan ddywedyd, Iesu y
meistr, trugarha wrthym.
14 [q] A phan welodd efe [hwynt] efe a ddywedodd q Lef. 14, 2
wrthynt, Ewch, ymddangoswch i'r offeiriaid. Ac fe Mat. 8, 4
a ddarfu a hwy yn myned eu gwneuthur yn iach. Ier. 28, 10
15 Ac un o honynt, pan welodd ddarfod ei iachau, Mat 16, 24
a ddychwelodd, gan foliannu Duw â llef uchel.
16 Ac efe a syrthiodd ar ei wyneb wrth ei draed ef,
gan roddi diolch iddo, a hwnnw oedd Samariad.
17 [r] Yna 'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, oni lan- r 2 Cron.
hauwyd deg? a pha le y mae 'r naw [eraill]? 32, 25
18 Ni chaed neb a ddaeth i roddi gogoniant i Dduw, 1 Cor. 1, 27
ond yr estron hwn.
19 Ac efe a ddywedodd wrtho, Cyfot, a dos ymmaith
dy ffydd a'th iachaodd.
20 A phan ofynnodd y Pharisæaid iddo, pa bryd y
deue deyrnas Dduw, efe a attebodd iddynt, ac a ddy-
wedodd, Ni ddaw teyrnas Dduw wrth ei disgwil.
21 Ac ni ddywedant, Wele ymma, neu wele accw,
canys wele, y mae genych deyrnas Dduw o'ch mewn.
22 [s] Ac efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, Yr s Mat. 9, 15
amser a ddaw, pan ddymunoch weled un o ddyddiau Dat. 22, 17
Mab y dyn: ac nis cewch eu gweled.
23 [t] A hwy a ddywedant wrthych, Wele ymma, neu t Mat. 24, 23
wele accw: [eithr] nac ewch, ac na chanlynwch
[hwynt].
24 Canys megis y fellden yr hon a ddiscleirio o'r
naill fann dann y nef, a lewyrcha yn y fann arall dan
y nef: felly y bydd Mab y dyn yn ei ddydd ef.
25 [u] Eithr yn gyntaf rhaid iddo ef ddioddef llawer, ai u Mat. 16, 21
ddiystyru gan y genhedlaeth hon.
26 [v] A megis bu yn nyddiau Noe, felly y bydd hefyd v Pen. 18, 7
yn nyddiau Mab y dyn.
27 [w] Bwyttasant, yfasant, gwreiccasant, ogwrhasant, 1 Thes. 5, 2, 3
hyd y dydd yr aeth Noe i'r arch: yna y daeth y diluw, w Phil. 2, 21
ac au difethodd hwynt oll. Dat. 13, 7
28 Yn yr un modd hefyd, fel y darfu yn nyddiau Lot:
bwyttasant, yfasant, prynasant, gwerthasant, plannas-
ant, adeiladasant.
29 [x] A'r dydd yr aeth Lot allan o Sodoma, y glaw- x 2 Pedr 2, 6, 7
iodd tân a brwmstan o'r nef, ac au difethodd hwynt oll.
30 [y] Fel hyn y bydd, y dydd y dadcuddir Mab y dyn. y 2 Thes 1, 8
31 [z] Yn y dydd hwnnw, y neb a fyddo ar y tŷ, ai z Mat. 24, 17
ddodrefn o fewn y tŷ, na ddescynned iw cymmeryd a Gen. 19, 26
hwynt: a'r un modd, y neb a fyddo yn y maes, na
ddychweled yn ei ol. Rhuf. 15, 4
32 [a] Meddyliwch am wraig Lot. b Mat. 16, 25
33 [b] Pwy bynnag a geisio gadw ei einioes, ai cyll: a c Dat. 16, 15
phwy bynnag ai cyll, ai bywhâ hi.
34 [c] Y nos honno meddaf i chwi y bydd dau yn yr un Pen 16, 22
gwely: un a gymmerir, a'r llall a adewir. Mat. 24, 40
35 Dwy a fyddant yn malu yn yr un lle: un a gym-
merir, a'r llall a adewir. d 1 Thes. 4, 17
36 Dau a fyddant yn y maes: un a gymmerir, a'r llall 1 Cor. 15, 52
a adewir.
37 [d] Yna gan atteb y dywedasant wrtho ef, Pa le Ar- Mat. 24, 28

glwydd? ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa le bynag y
byddo'r corph, yno yr ymgasgl yr eryrod.

## PEN. XVIII.

*Crist yn dyscu i ni weddio trwy siampl y weddw orthrymmedig, 13. a'r Publican gostyngedig, 13. yn derbyn plant atto, 18. yn atteb y llywydd yr hwn a fynne gael nef, ond ni fynne ymmadel ai olud, 28. yn atteb Petr, 31. yn rhybuddio y deuddec am ei ddioddefaint, 35. ac yn rhoi ei olwg i un dall.*

e1Thes.5 17 AC e efe a ddywedodd hefyd ddammeg wrthynt, y
Gen. 32, 26 bydde yn rhaid gweddio bob amser heb ddeffygio,
2 Gan ddywedyd, Yr oedd rhyw farn-wr yn rhyw
Pen.11,8 ddinas, yr hwn nid ofne Dduw, ac ni pharche ddyn.
Iago5,16, 17 3 f Yr oedd hefyd yn y ddinas honno ryw wraig we-
fGalar.1 1 ddw, yr hon a ddaeth atto ef gan ddywedyd, Dial fi ar
Salm82,3 4 fyng-wrthwynebwr.
4 Ac efe ni's gwnai dros amser [hir]: eithr wedi
hynny y dywedodd wrtho ei hun, Er nad ofnaf Dduw,
ac er na pharchaf ddyn;
5 Er hynny, am fod y weddw hon yn fy mlino i, dial-
af hi rhag iddi hi yn y diwedd ddyfod, a'm blino i.
gMat. 7, 11 6 g A'r Arglwydd a ddywedodd, Gwrandewch beth
a ddywed y barn-wr ang-hyfiawn.
h 2Thes. 1. 8 7 h Ac oni ddial Duw ei etholedigion sydd yn llefain
1Pedr 3, 20 arno ddydd a nos, er iddo ymaros yn eu hachos hwynt?
8 i Yr wyf yn dywedyd i chwi, y dial efe hwynt ar
iDat 18,8 frys; ond pan ddel Mab y dyn, a gaiff efe ffydd ar y
Neh. 10, 37 ddaiar?
Mat. 23, 10, 12 9 j Ac efe a ddywedodd y ddammeg hon wrth y rhai
jPhil 3,4 ag oeddynt yn coelio eu bod eu hunain yn gyfiawn,
Esa. 65,5 ac yn diystyru eraill;
10 Dau wr a aethant i fynu i'r deml i weddio; un yn
Pharisæad, a'r llall yn Bublican.
kHeb. 2, 4 11 k Y Pharisæad o'i sefyll a weddiodd ynddo ei hun
1Tim. 1, 15 fel hyn; O Dduw, yr wyf yn diolch i ti nad ydwyf fel
dynion eraill [y rhai ydynt] drawsion, anghyfiawn,
odineb-wyr: neu fel y Publican hwn.
l Mat. 6, 16 a 23,23 12 l Yr ydwyf yn ymprydio ddwy-waith yn yr wyth-
nos, yr ydwyf yn degymmu cymmaint oll a feddaf.
m1Bren. 8, 41 13 m A'r Publican yn sefyll o hirbell, ni chode ei
Salm51,1 olwg tu a'r nef, eithr curodd ei ddwyfron, gan ddy-
Diar. 28, 13 wedyd, O Dduw, bydd drugarog wrthif bechadur.
14 n Aeth meddaf i chwi, hwn i'w dŷ wedi ei gyf-
nRhuf.3, 40 iawnhau yn fwy na'r llall: canys pwy bynnac a'i der-
Mat 9.13 chafo ei hun a ostyngir, a'r neb a'i gostyngo ei hun a
1Pedr 5, 6 dderchefir.
Pen. 14, 11 15 o A hwy a ddugasant atto ef blant, fel y cyffyrdde
o1Sam. 1 24 efe â hwynt: pan welodd ei ddiscyblion ef hyn, eu
ceryddu a wnaethant.
Mat. 19, 3 16 p Ac wedi i'r Iesu eu galw hwynt atto, efe a ddy-
pDat. 14, 5, 5 wedodd, Gadewch i'r plant ddyfod attaf i, ac na wa-
Esa. 9, 9 herddwch hwynt; canys i'r cyfryw y perthyn teyrnas
Dduw.
qMarc10 17 q Yn wir meddaf i chwi, Pwy bynnac ni dderbyn-
Rhuf.14, io deyrnas Dduw fel plentyn, ni chaiff efe fyned i mewn
iddi.
Mat. 19, 18 r Yna un o'r llywodraeth-wyr a ofynnodd iddo,
gan ddywedyd, Athro da, gan wneuthur pa beth yr
etifeddaf i fywyd tragywyddol?
1Sam.2, 19 s A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Pa ham i'm gelwi
yn dda? nid oes neb yn dda ond un, [hwnnw yw]Duw.
20 Gwyddost y gorchymynnion: na odineba; na
ladd; na ladratta; na ddwg gam-destiolaeth; anrhy-
dedda dy dad a'th fam.
Mat 23, 21 t Ac efe a ddywedodd, Hyn oll a gedwais o'm
ieuengctid.
22 A phan glywodd yr Iesu hyn, efe a ddywedodd
wrtho, Y mae un peth etto yn ol i ti; gwerth hyn oll
sydd eiddot, a dod i'r tlodion, a thydi a gei dryssor yn
y nef: a thyret, canlyn fi.
23 u Ond pan glybu efe y pethau hyn, efe a aeth yn uAct.22, 22
athrist; canys yr oedd efe yn gyfoethog iawn. Ioan6 66
24 v Pan welodd yr Iesu ei fyned ef yn athrist, efe a Mat. 16, 22
ddywedodd, Mor anhawdd yr aiff y rhai y mae golud vMat.10, 24
ganddynt i deyrnas Dduw? Diar. 10,
25 Canys haws yw i gamel fyned trwy grau y nod- 15
wydd ddur, nag i'r goludog fyned i deyrnas Dduw.
26 Yna y rhai a glybu [hyn] a ddywedasant, Pwy
gan hynny a all fod yn gadwedig?
27 Ac efe a ddywedodd, Y pethau sydd ambos-
sibl gyd â dynion, sydd bossibl gyd â Duw.
28 w Yna y dywedodd Petr, Wele, ni a adawsom y wMat. 4,
cwbl oll, ac a'th ganlynasom di. 20
29 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn wir meddaf i
chwi, Nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu rieni, neu
frodyr, neu wraig, neu blant, er mwyn teyrnas Dduw,
30 x Ar nis derbyn fwy o lawer y pryd hwn, ac yn y xPhil. 3,
byd a ddaw fywyd tragywyddol. 8
31 y A'r Iesu a gymerth atto y deuddec, ac a ddywed- yIoan 16,
odd wrthynt, Wele ni yn myned i Ierusalem, a chyf- 1
lawnir pob peth ar sydd yn scrifennedic trwy yr pro-
phwydi am Fab y dyn.
32 z Canys efe a roddir i'r cenhedloedd, ac a watworir, z Act. 4,
ac a ddirmygir, ac a boerir arno. 28
33 a Ac wedi iddynt ei fflangellu y lladdant ef, eithr aMat. 16,
efe a gyfid y trydydd dydd. 21
34 b Ac ni ddeallasant hwy ddim o'r pethau hyn, bHeb. 5,
a'r gair hwn oedd guddiedig iddynt, ac ni wybuant y 11
pethau a ddywetpwyd.
35 c Ac fe a ddigwyddodd, ac efe yn nesau at Iericho, cAct. 3,2
i ryw ddyn dall eistedd gerllaw yr ffordd, yn cardotta.
36 A phan glybu efe y dyrfa yn myned heibio, efe
a ofynnodd, Pa beth oedd hyn?
37 Ac hwy a ddywedasant iddo mai Iesu o Nazareth
oedd yn myned heibio.
38 d Yna y llefodd efe gan ddywedyd, Iesu fab Da- dRhuf.1
fydd, trugarhâ wrthif. 3
39 e A'r rhai a oeddynt yn myned o'r blaen a'i stwrd- Mat 15, 22
iasant ef i dewi, yntef a lefodd fwy-fwy, Mab Dafydd eMat 15, 22, 27
trugarhâ wrthif.
40 A'r Iesu a safodd, ac a orchymynnodd ei ddwyn
ef atto, a phan ddaeth yn agos, efe a ofynnodd iddo,
41 f Gan ddywedyd, Pa beth a fynni i mi ei wneu- fMat 8.2
thur i ti? yntef a ddywedodd, Arglwydd, cael fyng- a 5, 22
olwg.
42 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Cymmer dy olwg;
dy ffydd a'th iachaodd.
43 Ac allan o law y cafodd efe ei olwg, ac a'i can-
lynodd ef, gan ogoneddu Duw, a'r holl bobl pan wel-
sant [hyn] a roesant foliant i Dduw.

## PEN. XIX.

*Edifeirwch Zacchæus. 12. Y rhagor rhwng y dec gwas y rhai a gawsant y dec darn arian. 28. Crist yn marchogaeth i Ierusalem. 45. Yn bwrw allan y pryn-wyr a'r gwerthwyr; 47. a'r Iddewon yn ceisio ei ddifetha ef.*

AC g efe a ddaeth i mewn, ac a aeth trwy Iericho. gMat. 18, 11
2 h Ac wele ryw wr a'i enw Zacchæus, a hwn Esa. 65.1
oedd bennaf o'r Publicanod, ac yr oedd efe yn gy- h1Tim. 1 15
foethog.
3 Ac efe a geisiodd weled pwy oedd yr Iesu, ac ni

alle gan y dyrfa, am ei fod efe yn fychan o gorpholaeth.
4 Am hyny efe a redodd o'r blaen, ac a ddringodd i
sicamorwydden, fel y galle ei weled ef; canys yr oedd
efe i ddyfod y ffordd honno.
i Ioan 1, 5 [i] A phan ddaeth yr Iesu i'r lle [hwnnw], efe a ed-
43 rychodd, ac a ddywedodd wrtho ef, Zacchæus descyn
ar frys, canys rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di.
6 Yna y descynnodd efe ar ffrwst, ac a'i derbynniodd
ef yn llawen.
j Mat. 9, 7 [j] A phawb, pan welsant hyn, a rwgnachasant gan
11 ddywedyd, Ei fod efe wedi myned i mewn i letteua at
Pen. 7,31 ddyn pechadurus.
k Mat. 3, 8 [k] A Zacchæus a safodd, ac a ddywedodd wrth yr
8 Arglwydd, Wele Arglwydd, yr ydwyf yn rhoddi han-
2 Cor. 7, ner fy na i'r tlodion; ac os dygum ddim oddi ar neb
11 Ex. 22, 1 Num. 5,7 trwy dwyll, mi a'i talaf ar ei bedwerydd.
m Tit. 2, 9 [m] A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Heddyw y daeth
11 iechydwriaeth i'r tŷ hwn, am ei fod yntef hefyd yn
fab i Abraham.
10 Canys Mab y dyn a ddaeth i geisio ac i gadw yr
hyn a gollasid.
n 2 Thes. 2 11 [n] A hwy yn gwrando ar y pethau hyn, efe a aeth
1, 2 Act. 1, 6 rhagddo, ac a ddywedodd ddammeg, am ei fod efe yn
agos at Ierusalem, ac am iddynt dybied yr ymddangose
teyrnas Duw yn y fan.
o Act. 1, 12 [o] Am hynny y dywedodd, Rhyw wr bonheddig a
11 wnaeth daith i wlad bell, i dderbyn iddo deyrnas, ac i
ddyfod trachefn.
p 1 Pedr 4 13 [p] Ac wedi iddo alw ei ddec gwas, efe a roddes ddec
14 punt, ac a ddywedodd wrthynt, Marchnattewch hyd
oni ddelwyf.
q Ioan 1, 14 [q] Eithr ei ddinas-wyr a'i casasant ef, ac a anfon-
11 asant gennadwriaeth ar ei ol ef, gan ddywedyd, Ni
fynnwn ni mo hwn i deyrnasu arnom.
15 Ac fe a ddarfu pan ddaeth efe yn ei ol wedi derbyn
ei deyrnas, yna y gorchymynnodd efe alw y gweision
hynny atto i'r rhai y rhoddase efe yr arian, fel y galle
gael gwybod pa faint a elwase pob un wrth farchnatta.
r 1 Cor. 15 16 [r] Y cyntaf a ddaeth, gan ddywedyd, Arglwydd,
10 dy bunt a enillodd ddec punt.
17 Yntef a ddywedodd wrtho ef, Wele, O was da,
am i ti fod ffyddlon yn ychydic, cymmer awdurdod
ar ddec dinas.
s Rhuf. 12 18 [s] A'r ail a ddaeth gan ddywedyd, Arglwydd, dy
3 bunt di a wnaeth bum punt.
t Dan. 12, 19 [t] Ac efe a ddywedod wrth hwnnw, Bydd dithe lyw-
15 odraeth-wr ar bum dinas.
u Mat. 5, 20 [u] A'r llall a ddaeth, gan ddywedyd, Arglwydd,
15 wele dy bunt, yr hon a roddais i gadw mewn cadach.
v Pen. 16, 21 [v] Canys mi a'th ofnais, am dy fod yn wr tost, yn
29 cymmeryd y peth ni roddaist i lawr, ac yn medi y
Mat. 25, 44 peth ni hauaist.
w Iob 15,6 22 [w] Yntef a ddywedodd wrtho ef, o'th enau dy hun
y barnaf di, tydi was drwg, tydi a wyddit fy mod i yn
wr tost, yn cymmeryd i fynu y peth ni roddais i lawr,
ac yn medi y peth ni hauais,
23 Pa ham gan hynny na roddaist ti fy arian i'r bwrdd
[cyfnewid,] fel y gallaswn i eu cael hwynt pan ddelwn,
gyd â mael?
24 Ac efe a ddywedodd wrth y rhai oedd yn sefyll
ger llaw, Dygwch oddi arno ef y bunt, a rhoddwch hi
i'r hwn sydd a dec punt ganddo.
25 (A hwy a ddywedasant wrtho, Arglwydd, y mae
ganddo ef ddec punt)
26 [x] Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, y rhoddir i x Mat. 13,
bob un y byddo ganddo, a dygir oddi ar yr hwn ni 11 a 25, 29
byddo ganddo yr hyn fydd ganddo. Marc 4,
27 [y] A hefyd, Dygwch ymma fyng-elynion hynny y 25
rhai ni fynnent i mi deyrnasu arnynt, a lleddwch hwynt y Salm 45 5
o'm blaen i. Dat. 19, 18 20
28 Ac wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, efe a aeth 1 Sam. 15,
o'r blaen, gan fyned i Ierusalem. 33
29 [z] A digwyddodd, pan ddaeth efe yn agos at Beth- z Mat. 21,
phage a Bethania, i'r mynydd yr hwn a elwir 1 Marc 11,
Oliwydd, efe a anfonodd ddau o'i ddiscyblion, 2
30 [a] Gan ddywedyd, Ewch i'r dref yr hon sydd ar a Mat. 21,
[eich] cyfer, a phan ddeloch iddi, chwi a gewch ebol 2 Marc 11,
yn rhwym, ar yr hwn nid eisteddodd dyn er ioed; 1
gollyngwch ef a dygwch ymma.
31 Ac os gofyn neb i chwi, Pa ham yr ydych yn ei
ollwng ef? dywedwch wrtho fel hyn, Am fod yn rhaid
i'r Arglwydd wrtho.
32 Yna y rhai a ddanfonasid a aethant ymmaith, ac
a gawsant fel y dywedase efe wrthynt.
33 Ac fel yr oeddynt yn gollwng yr ebol, ei berchen-
nogion a ddywedasant wrthynt, Pa ham yr ydych yn
gollwng yr ebol?
34 [b] Ac hwy a ddywedasant, Am fod yn rhaid i'r b Pen 24,
Arglwydd wrtho ef. 26 Mat. 3.15
35 [c] Ac hwy a'i dugasant ef at yr Iesu, ac wedi iddynt c Mat. 16,
fwrw eu dillad ar yr ebol, hwynt-hwy a ddodasant yr 24
Iesu arno ef.
36 [d] Ac efe yn myned, tanasant eu dillad ar hyd y d Marc
ffordd. 11, 15
37 [e] Ac weithian pan ddaeth efe yn agos at ddescyn- e Ioan 12,
fa mynydd Oliwydd, y dechreuodd yr holl liaws ddis- 12, 13
cyblion gan lawenydd, glodfori Duw â llef uchel, am Pen. 23,
yr holl wrthiau a welsent, 15
38 [f] Gan ddywedyd, Bendigedic yw yr Brenin hwn- f Col. 1,
nw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd: tang- 20
nheddyf yn y nef, a gogoniant yn yr uchelder. Pen. 2,14
39 [g] Yna rhai o'r Pharisæaid o'r dyrfa a ddywedasant g Mat. 23,
wrtho ef, Athro, cerydda dy ddiscyblion. 13
40 [h] Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Pe h Act. 14,
tawe y rhai hyn, y cerrig a lefent. 17 Mat. 27,
41 [i] Ac wedi iddo ef ddyfod yn agos, pan welodd efe 51
y ddinas, efe a wylodd trosti, i Hos. 11, 8
42 [j] Gan ddywedyd, Canys pe gwypit ti o'r lleiaf yn Ier. 9, 1
dy ddydd hwn y pethau a berthynant i'th heddwch; j Ier. 8, 7
eithr y maent yn awr yn guddiedic rhagot. Salm 38, 6
43 [k] Canys fe a ddaw y dyddiau arnat, a'th elynion a k Salm 37
fwriant glawdd o'th amgylch, ac a'th amgylchant, ac 13
a'th warchaeant o bob parth. Deut. 28. 47, 48 52
44 [l] Ac a'th wnant yn gyd-wastad a'r ddaiar, a'th blant l Mat. 23,
y rhai ydynt o'th fewn: ac ni adawant ynot faen ar 37 a 24, 2
faen, am nad adwaenit amser dy ymweliad. Rhuf. 11, 25
45 [m] Ac efe a aeth i mewn i'r deml, ac a ddechreuodd m Mat. 21
daflu allan y rhai oeddynt yn gwerthu ac yn prynu 12
ynddi, Ioan 2.14
46 [n] Gan ddywedyd wrthynt, Y mae yn ysgrifenedig, n Ier. 7,
Tŷ gweddi yw fy nhŷ i; a chwi a'i gwnaethoch yn ogof 11
lladron.
47 Ac yr oedd efe beunydd yn dyscu yn y deml, a'r
archoffeiriaid, a'r scrifennyddion, a phennaethiaid y
bobl, a geisiasant ei ddifetha ef.
48 Ond ni fedrent wneuthur dim iddo ef, canys yr
holl bobl a lynasant [wrtho] pan glywsant ef.

## PEN. XX.

*Crist yn gostegu yr arch-offeiriaid, gan ofyn, o ba le yr oedd bedydd Ioan,* 9. *Yn dangos ar ddameg y winllan ddinistr yr Iuddewon,* 22. *Yn rhoi atteb doeth am y deyrn-ged,* 27. *Ac am yr adgyfodiad.* 46. *Ac yn dangos rhagrith yr scrifennyddion.*

oMat. 12, A [o] DIGWYDDODD ar un o'r dyddiau hynny, ac
48 efe yn dyscu'r bobl yn y Deml, ac yn pregethu'r
Efengyl, yr arch-offeiriaid, a'r scrifennyddion, gyd â'r
pennaethiaid a ddaethant ato ef,
pPen.19, 2 [p] Ac a lefarasant wrtho, gan ddywedyd, Dywet i ni
46 drwy ba awdurdod yr wyt yn gwneuthur y pethau
hyn? neu pwy yw yr hwn a roddes i ti yr awdurdod
hon?
qMat 10, 3 [q] A chan atteb efe a ddywedodd wrthynt, A minne
16 a ofynnaf i chwithau un peth: dywedwch chwithau i
mi,
4 Bedydd Ioan ai o'r nef yr ydoedd, ai o ddynion?
rHeb. 4, 5 [r] A hwy a resymmasant yn eu plith eu hunain gan
13 ddywedyd, Os dywedwn mai o'r nef: efe a ddywed,
Pa ham gan hynny na chredech ef?
sMat. 14, 6 [s] Ac os dywedwn mai o ddynion, yr holl bobl a'n
5 llabuddiant ni, canys y mae yn sicer ganddynt fod
Ioan yn brophwyd,
tSal. 7,15 7 [t] Ac am hynny hwy a attebasant na's gwyddent o
a 53, 10 ba le [yr oedd.]
8 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Ac nid wyf finne
yn dywedyd i chwithau trwy ba awdurdod y gwnafi y
pethau hyn.
uMat. 21, 9 [u] Ac efe a ddechreuodd ddywedyd y ddammeg hon
33 wrth y bobl. Rhyw ŵr a blannodd winllan, ac a'i
1Cor. 3,6 gosododd hi i lafur-wyr,
9
vEsa. 5,3 10 [v] Ac mewn amser, efe a anfonodd ei was at y llafur-
wyr, fel y rhoddent [iddo] o ffrwyth y winllan: a'r
llafur-wyr ai curasant ef, ac a'i hanfonasant ymmaith
yn wag-law.
w2Cron. 11 [w] Ac efe a anfonodd was arall: a hwy a gurasant,
36, 15 ac a amharchasant hwn hefyd, ac ai hanfonasant ym-
Esa. 30,9 maith yn wag-law.
12 A thrachefn efe a anfonodd y trydydd: ac wedi
iddynt glwyfo hwn, hwy ai bwriasant ef allan.
xMat. 3, 13 [x] Yna y dywedodd arglwydd y winllan, Pa beth
17 a wnaf? mi a anfonaf fy anwyl fab, fe a alle pan welant,
Salm 2,12 y parchent ef.
yHeb1,2 14 [y] A phan welodd y llafur-wyr ef, ymresymmu a'u
gilydd a wnaethant, gan ddywedyd, Hwn yw yr etifedd:
deuwch, lladdwn ef, fel y byddo yr etifeddiaeth yn
eiddom ni.
15 A hwy a'i bwriasant ef allan o'r winllan, ac a'i
lladdasant ef: pa beth gan hynny a wna Arglwydd
y winllan iddynt?
Marc 8, 16 [z] Efe a ddaw, ac a ddifetha y llafur-wyr hyn, ac a
Rhuf. 11, rydd ei winllan i eraill, a phan glywsant hwy hyn
dywedasant, Na atto Duw.
17 Ac efe a edrychodd arnynt, ac a ddywedodd, Pa
beth yntef yw hyn a scrifennwyd: y maen yr hwn a
1Pedr 2 wrthododd yr adailad-wyr a wnaethpwyd yn ben
6 congl.
ec. 12,3
Rhuf. 3, 18 [a] Pwy bynnag a syrthio ar y maen hwnnw a ddryllir,
ac ar bwy bynnag y syrthio, efe ai mâl ef.
Tim. 4,3 19 [b] Yna yr arch-offeiriaid, a'r scrifenyddion a geisias-
ct. 7,54 ant roddi dwylo arno yn y pryd hynny: ond yr yd-
Ier. 18, oedd arnynt ofn y bobl: canys gwybuant mai yn eu
dm 38, herbyn hwynt y dywedase efe y ddammeg honno.
Tim. 4, 20 [c] Ac am hynny hwy a yrasant gynllwynwyr y rhai
a gymmerent arnynt eu bod yn gyfiawn, iw ddisgwil ef,
fel y dalient ef yn ei ymadrodd, iw roddi ym meddiant
ac awdurdod y rhaglaw.
21 [d] A gofynnasant iddo ef, gan ddywedyd, Athro, d2Cor. 2,
ni a wyddom y dywedi, ac y dysci di yn iniawn, ac 17 1Thes. 2,
nad ydwyt ti yn derbyn wyneb, ond yn dyscu ffordd 3, 4
Dduw yn iniawn.
22 [e] Ai cyfraithlon i ni roddi teyrn-ged i Cæsar ai eIoan 8,
nid yw? 53 Mat. 17,
23 [f] Ac efe yn deall eu cyfrwysdra hwynt, a ddy- 24
wedodd wrthynt, Pa ham y temtiwch fi? fIoan 8,
24 [g] Dangoswch i mi geiniog, pwy piau y llun a'r 24 Heb. 4,
scrifen sydd arni? a chan atteb y dywedasant Cæsar. 13 gMat. 22
25 [h] Yna efe a ddywedodd wrthynt, Rhoddwch gan 19
hynny'r eiddo Cæsar i Cæsar, a'r eiddo Duw i Dduw. a 18, 28 hRhuf. 13
26 Ac felly ni allasant felo ar ei eiriau ef ger bron y 7
bobl: a chan ryfeddu wrth ei attebion ef, hwynt hwy Act. 5,29
a dawsant.
27 [i] Yna rhai o'r Saducæaid (y rhai sy yn gwadu bod iAct 23,
adgyfodiad) a ddaethant atto ef, ac a ofynnasant iddo, 8
28 [j] Gan ddywedyd, Athro, Moses a scrifennodd i Mat. 37
ni, os bydde farw brawd neb ag iddo wraig, a marw o 1Cor. 15,
honaw ef yn ddi-blant, fod yw frawd gymmeryd ei 32 Mat. 24, 48
wraig ef, a chodi hâd iw frawd. jDeut. 25
29 Felly, yr ydoedd saith o frodyr, a'r hynaf a gym- 5 Mat. 4,6
merth wraig, ac a fu farw yn ddi-blant.
30 A'r ail a gymmerth y wraig, ac a fu yntef farw yn
ddi-blant.
31 Yna, y trydydd a'i cymmerth hi: ac felly y saith
hynny a fuant feirw, ac ni adawsant blant, eithr buant
feirw.
32 Yn ddiweddaf oll, y bu farw y wraig hefyd.
33 Felly, yn yr adgyfodiad, gwraig i bwy un o honynt
fydd hi? canys y saith ai cawsant hi yn wraig.
34 [k] Yna yr attebodd yr Iesu gan ddywedyd wrthynt, kHeb. 2,
Plant y byd hwn sy yn gwreica, ac yn gwra. 5 Ioan 19,
35 [l] Eithr y rhai a fyddo teilwng i gael y byd hwn- 36
nw, a'r adgyfodiad oddi wrth y meirw, ni wreicant ac l2Thes. 1, 5
ni wrant: Dat. 3, 4
36 [m] Ac hefyd ni allant feirw mwy: canys cydstad Heb. 2,5
ydynt a'r angelion, a phlant Duw ydynt, am eu bod Pen. 19, 12
yn blant yr adgyfodiad. m1 Cor. 15. 54
27 [n] Ac y cyfid y meirw, Moses a ddangosodd wrth Dat. 2, 4
y berth, lle y mae efe yn dywedyd, Arglwydd Duw Rhuf. 6, 23
Abraham, a Duw Isaac, a Duw Iacob. 1Ioan 5,2
38 [o] Canys nid yw efe Dduw y meirw, ond y byw: Dat. 20,5
canys pawb sydd fyw iddo ef. n2Cor. 4, 14
39 [p] Yna rhai o'r scrifennyddion gan atteb a ddywed- Mat. 4,6, 7
asant, Athro, da y dywedaist. Ex 3. 5
40 [q] Ac ni feiddiodd neb mwyach ofyn dim iddo ef. oRhuf. 4, 17
41 [r] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa fodd y maent a 11, 8
yn dywedyd fod Crist yn fab Dafydd? pMat. 15, 9
42 [s] Ac y mae Dafydd ei hun yn dywedyd yn llyfr y qMarc 12
Psalmau: yr Arglwydd a ddywedod wrth fy Arglwydd, 34
Eistedd ar fy neheu-law, rTit. 1,11
43 Hyd oni osodwyf dy elynion yn faingc i'th traed? Mat. 22, 42
44 Am hynny a Dafydd yn ei alw ef yn Arglwydd, sRhuf. 8,
pa fodd y mae efe yn fab iddo? 34 Heb. 1,13
45 [t] Ac efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, a'r holl t1Tim. 5,
bobl yn ei glywed, 20
46 [u] Ymochelwch rhag yr scrifennyddion, y rhai a uMat. 23
fynnant fyned mewn dillad lleision: ac a garant gy- 14
farch iddynt yn y marchnadoedd: a'r eisteddleoedd
uchaf yn y Synagogau: a'r lleoedd pennaf yn y
gwleddoedd.

v1Tim.3 47 v Y rhai ydynt yn difa tai gwragedd gweddwon
6 a [hynny] yn rhith hir weddio, y rhai hyn a dder-
byniant farn fwy.

## PEN. XXI.

*Crist yn canmol offrwm y weddw dlawd. 5. Yn prophwydo am ddinistr Ierusalem. 8. Am ddyfodiad gau athrawon. 9. Ac arwyddion blinder a diwedd y byd. 37. Ac arfer Crist tra fu efe yn Ierusalem.*

w2Cron. AC w fel yr ydoedd efe yn edrych, efe a ganfu y
24,8 rhai goludog yn bwrw eu rhoddion i'r tryssor-
1Cor. 16, 1 dy.
xMarc14 2 x Ac efe a ganfu hefyd ryw wraig weddw dlawd
8. 2 Cor. 8, yn bwrw yno ddwy hatling.
12 3 Ac efe a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, Y
weddw dlawd hon a fwriodd fwy i mewn na hwynt
oll.
y2Cor.8, 4 y Canys hwy oll o'u gweddillion a fwriasant yr
1, 4 hyn a roddent i Dduw: a hon a fwriodd o'i phrinder
Marc 12, 44 hyn oll a fedde.
zMat.24, 5 z Yna, a rhai yn dywedyd am y Deml fel yr add-
1 urniesid hi â meini gwychion, a rhoddion, ef a ddy-
a 23, 27 wedodd,
6 Ai ar y pethau hyn yr ydych chwi yn edrych? fe
a ddaw y dyddiau pan na adawer maen ar faen a'r na
fwrier i lawr.
aDan.12, 7 a Yna y gofynnasant iddo gan ddywedyd, Athro,
4 Salm111, Pa bryd y bydd y pethau hynn? a pha arwydd fydd
2 pan ddel y pethau hynn?
b 2Thes. 8 b Ac efe a ddywedodd, Mogelwch rhag eich
2, 7 twyllo: canys llawer a ddaw yn fy enw i, gan ddy-
Dat. 8,7 wedyd, Myfi yw [Crist,] a'r amser hwnnw sydd yn
nesau, am hynny na chanlynwch hwynt.
cDat 7,3 9 c A phan glywoch [son] am ryfeloedd a therfysg-
oedd, nac ofnwch: canys rhaid i'r pethau hynn fod
yn gyntaf: ond ni ddaw y diwedd yn y man.
10 Yna y dywedodd efe wrthynt, Cenedl a gyfyd
yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas.
dAct.11, 11 d A daiar-grynfau mawrion a fyddant yn amryw
28 Dat. 6,2, leoedd, a newyn, a heintiau, a dychrynedigaethau,
8 ac arwyddion mawrion o'r nef.
e Act.5, 12 e Eithr o flaen hynn oll y rhoddant eu dwylo
40 arnoch, ac [a'ch] erlidiant, gan eich rhoddi yn y
a 22, 19 Synagogau, ac mewn carcharau, a'ch dwyn ger bron
brenhinoedd a llywodraethwyr er mwyn fy enw i.
f Phil 1, 13 f A hyn a dry i chwi yn destiolaeth.
28 14 Am hynny rhoddwch eich bryd ar na fyfyrioch,
2Thes. 1 pa beth a atteboch.
5 Dat. 2,13 15 g Canys mi a roddaf i chwi enau a doethineb, y
gMarc13 rhai nis gall eich holl wrthwynebwyr, na dywedyd
11 Act.6,10 yn eu herbyn, na'i gwrthwynebu.
Mat. 10, 16 h Bradychir chwi hefyd gan eich rhieni a'ch bro-
19 hMarc13 dyr, a'ch cenedl, a'ch cymdeithion, a [rhai] o honoch
12 a laddant.
Ioan 16,2 iIoan 15, 17 i A chas fyddwch gan bawb er mwyn fy enw i.
18 1Pedr 4, 18 j Eithr ni chyll blewyn o'ch pen chwi.
4 19 k Meddiannwch eich eneidiau trwy eich amynedd.
jMat. 10, 30 20 A phan weloch amgylchynu Ierusalem â lluoedd,
1Sam.14, yna gwybyddwch fod ei anghyfannedd-dra hi yn
45 kRhuf. 5 agos.
3 21 Yna ffoed y rhai sy yn Iudæa i'r mynyddoedd:
Heb. 12, ac elant y rhai a fyddo yn ei chanol hi ymmaith; a'r
10 rhai a fyddo yn y meusydd nac elont i mewn iddi.
lMat. 23, 22 l Canys dyddiau 'r dial yw y rhai hyn fel y cyf-
34, 35 lawner cwbl ag sydd scrifennedic.
Jer.32,18 23 Gwae y rhai beichiogion a'r mamaethod yn y
24 dyddiau hynny: canys angen mawr fydd yn y wlad
hon, a digofaint wrth y bobl hyn.
24 m A hwy a syrthient ar fin y cleddyf, a chaeth- mDan.11
gludir hwynt at bob cenhedlaeth: ac Ierusalem a 2 Rhuf.11,
fethrir gan y cenhedloedd, hyd oni chyflawner amser 25, 26
y cenhedloedd.
25 n Yna y bydd arwyddion yn yr haul, a'r ser, ac nMat.24
ar y ddaiar ing cenhedlodd gan gyfing gyngor, am 29 2Pedr 3,
fod y môr a'r rhyferthwy yn dadseinio. 10
26 o [A] bod dynion yn llewygu gan ofn a disgwil oDat. 6,
am y pethau a ddeuant ar y byd, oblegit nerth y nef- 15 a 9, 6
oedd a siglir.
27 p Ac yna y gwelant Fab y dyn yn dyfod yn y pAct.1,9
cwmwl mewn gallu a gogoniant mawr. Dat 1,7
28 q A phan ddechreuo 'r pethau hynn ddyfod, ed- qMat.24
rychwch, a chodwch eich pennau i fynu: canys y 33 Dat.16,6
mae eich ymwared yn nesau. Rhuf. 8,
29 r Ac efe a ddywedodd wrthynt y ddammeg [hon:] 23
Edrychwch ar y ffigus-bren, a'r holl brennau, rMat.24,
30 Pan ddeiliant hwy weithiau, chwy-chwi yn gwel- 32
ed a wyddoch o honoch eich hun fod y cynhaiaf yn
agos.
31 s Felly chwithau, pan weloch wneuthur y pethau sPen.19,
hyn, gwybyddwch fod teyrnas Dduw yn agos. 12 2Tim.4,1
32 Yn wir meddaf i chwi, nid aiff yr oes hon heibio,
nes gwneuthur y pethau [hyn] oll.
33 t Y nef a'r ddaiar a ant heibio, ond fyng-eirian t2Pedr3,
maufi nid ant heibio. 10 Salm.102
34 Edrychwch arnoch eich hunain, rhag gorchfygu 26
eich calonnau â glothineb, â meddwdod, a gofalon y
byd hwn, a dyfod y dydd hwnnw arnoch yn ddisym-
mwth.
35 u Canys efe a ddaw fel magl ar wartha pawb oll uPreg 9,
a'r sydd yn trigo ar wyneb yr holl ddaiar. 12 Dat 16,7
36 v Gwiliwch gan hynny, a gweddiwch bob amser vPen.2,
ar eich cyfrif yn deilwng i ddiangc rhag y pethau hyn 35 Dat. 16,1
oll y rhai a ddeuant, ac i sefyll ger bron Mab y dyn. a 14, 9
37 A lliw dydd yr ydoedd efe yn athrawiaethu yn y 1 Ioan 2,
Deml: a'r nos gan fyned allan yr arhose efe yn y 2, 28
mynydd a elwyd [mynydd] Oliwydd.
39 Ar holl bobl a ddeuent y boreu atto ef i'w glyw-
ed yn y Deml.

## PEN. XXII.

*Yr Iuddewon yn bwriadu pa fodd y difethent Grist. 7. Yntef yn bwytta ei Basc, ac yn ordeinio ei swpper. 24. Y discyblion yn ymryson pwy a gaffe fod yn fwyaf. 42. Crist yn gweddio ar y mynydd. 47. Y modd y bradychwyd ef, y daliwyd ef, y dygwyd i dŷ yr archoffeiriad. 66. Y gwadodd Petr ef. 67. Ac yr aed ag ef o flaen y cyngor.*

AW GWYL y bara croiw oedd yn agos, yr hon a w Ex. 2,
a elwir y Pasc. 14 Mat.26 2
2 x A'r arch-offeiriaid a'r scrifennyddion a geisiasant, xSal. 2,
pa fodd y difethent ef, o blegit yr oedd arnynt ofn y 12 Mat. 12,
bobl. 23
3 y A Satan a aeth i mewn Iudas yr hwn a gyfenwid yMat 12,
Iscariot, yr hwn oedd o rifedi'r deuddec. 45
4 z Ac efe a aeth ymmaith, ac a ymddiddanodd â'r z1Ioan 3
arch-offeiriaid a'r llywodraethwyr, pa fodd y brad- 19
yche efe ef iddynt.
5 a Ac yr oedd yn llawen ganddynt, a hwynt hwy a 1Sam.
a gydtunasant ar roddi arian iddo. 23, 24
6 b Ac efe a addawodd, ac a geisiodd amser cyfaddas bIob 25,
i'w fradychu ef iddynt yn absen y bobl. 15
7 c Ac yna y daeth dydd y bara croiw, ar yr hwn yr cEx.12,6
ydoedd rhaid offrwm y Pasc.

dAct. 10, 8 d Ac efe a anfonodd Petr ac Ioan, gan ddywedyd,
7 Ewch, parotoiwch i ni'r Pasc, fel y gallom ei fwytta.
9 A hwy a ddywedasant wrtho ef, Pa le y mynni i
ni ei barotoi [ef.]
10 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Wele, gwedi eich
myned i mewn i'r ddinas, y cyferfydd â chwi ddyn
yn dwyn stened ddwfr, canlynwch ef i'r tŷ yr êl efe
i mewn.
11 A dywedwch wrth ŵr y tŷ, Y mae yr Athro yn
dywedyd wrthit ti, Pa le y mae yr stafell lle y bwyt-
awyf y Pasc gyd â'm discyblion?
12 Yna efe a ddengys i chwi stafell fawr wedi ei
threfnu, parotoiwch yno.
13 Yna yr aethant, ac a gawsent fel y dywedase efe
wrthynt, ac a baratoasant y Pasc.
eMat. 26, 14 e Ac wedi dyfod yr awr efe a eisteddodd i lawr
20 a'r deuddec Apostl gyd âg ef.
15 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Mi a ddeisyfais yn
fawr fwytta'r Pasc hwn gyd â chwi, cyn dioddef o
honof.
fMat. 26. 16 f Canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi na fwyttaf
29 1Cor. 5,7 i mwy o honaw, hyd oni chyflawner yn nheyrnas
Dduw.
g 1Cor. 17 g Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan a rhoddi
11, 25 diolch, efe a ddywedodd, Cymmerwch hwn a rhen-
nwch yn eich plith.
18 Canys yr wyf yn dywedyd i chwi nad yfaf mwy
o ffrwyth y winwydden, hyd oni ddel teyrnas Dduw.
h Gal. 3, 19 h Ac wedi iddo ef gymmeryd y bara, a diolch,
16 efe [ai] torrodd, ac ai rhoddodd iddynt gan ddywed-
yd, Hwn yw fyng-horph yr hwn yr ydys yn ei roddi
trosoch gwnewch hyn er coffa am danaf.
i Heb. 9, 20 i Yn yr un modd hefyd wedi iddo swpperu [y
14 rhoddes efe] y cwppan, gan ddywedyd: Y cwppan
hwn yw'r Testament newydd yn fyng-waed i, yr hwn
yr ydys yn ei dywallt trosoch.
21 Eithr wele, llaw yr hwn a'm bradycha i sydd
gyd â myfi ar y bwrdd.
j Act. 4, 22 j Ac yn wir y mae Mab y dyn yn myned megis y
28 a 2, 23 mae yn derfynedig: eithr gwae yr dyn hwnw trwy'r
hwn y bradychir ef.
k Ioan 13, 23 k Yna y dechreuasant ymofyn yn eu plith eu hun,
22, 23 pwy o honynt oedd yr hwn a wnai hynny.
24 Ac fe a gyfododd cynnen yn eu plith, pwy o
honynt a dybygid ei fod yn fwyaf.
l Marc 10 25 l Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae brenhin-
25 oedd y cenhedloedd yn arglwyddiaethu arnynt, a'r
rhai sy mewn awdurdod arnynt a elwir yn bendefigion.
m 1Pedr 26 m Ond na [byddwch] chwi felly: eithr y mwyaf
5, 3 yn eich plith bydded megis y lleiaf, a'r llywydd megis
yr hwn a fyddo yn gweini.
n Ioan 13. 27 n Canys pwy un fwyaf, ai'r hwn sydd yn eistedd
14 ar y bwrdd, ai'r hwn sydd yn gwasanaethu? ond
mwyaf yr hwn sydd yn eistedd? eithr yr ydwyfi yn
eich mysc fel un yn gwasanaethu.
o Dat. 2, 28 o A chwy-chwi yw y rhai a arhosasoch gyd â mi
10 Heb. 2, 18 yn fy-mhrofedigaethau.
p Dat. 3, 29 p Ac yr wyfi yn ordeinio i chwi deyrnas megis yr
21 ordeiniodd fy Nhad i minne.
Phil. 1.9 q Dat. 2, 7 30 q Fel y bwyttaoch, ac yr yfoch ar fy-mwrdd i yn
Pen. 19, fy nheyrnas, ac yr eisteddoch ar orseddfeudd, a barnu
9 deuddec-llwyth Israel.
r 1Pedr 5, 31 r A'r Arglwydd a ddywedodd, Simon, Simon,
8 Iob 1, 11 wele Satan a'ch ceisiodd chwi i'ch nithio fel gwenith.
s Ioan 17, 32 s Eithr mi a weddiais trosot na ddiffygie dy ffydd
20 di: gan hynny, dithe, pan i'th droer cadarnha dy
frodyr.
33 Ac efe a ddywedodd wrtho, O Arglwydd, yr
ydwyfi yn barod i fyned gyda thi i garchar ac i angeu.
34 t Yntef a ddywedodd, Yr wyf yn dywedyd i ti t Ier. 17, 9
Pedr, na chân y ceiliog heddyw, cyn i ti wadu dair Ioan 13, 25
gwaith yr adwaeni fi.
35 u Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pan eich anfon- u Heb. 13,
ais heb bwrs na chod nac escidiau, a fu arnoch eisieu 5
dim? a hwy a ddywedasant, Na ddo ddim.
36 v Yna y dywedodd efe wrthynt, Ond yn awr y v 2Cor. 10
neb sydd ganddo bwrs cymmered, a'r un modd gôd, 4
a'r neb nid oes ganddo, gwerthed ei bais, a phryned Eph. 6. 12
gleddyf.
37 w Canys yr wyf yn dywedyd i chwi fod yn rhaid w Esa. 53
cyflawni ynofi yr scrifen hono, A chyd â'r anwir y 12 Marc 15,
cyfriwyd ef: canys y mae diwedd i'r pethau [a scrifen- 28
wyd] o honofi.
38 x A hwy a ddywedasant, Arglwydd, wele ddau x Ioan 18,
gleddyf yma: ac efe a ddywedodd wrthynt, Digon yw. 36
39 y Ac wedi iddo fyned allan, efe a aeth (fel y bydde y Ioan 18.
arferol) i fynydd Oliwydd, a'i ddiscyblion a'i canlyn- 1 Mat. 26,
asant ef. 26
40 z A phan ddaeth efe i'r man hwnnw, efe a ddywed- z Mat. 26,
odd wrthynt, Gweddiwch nad eloch mewn profedig- 41 2Cor. 12,
aeth. 7
41 a Ac efe a dynnwyd oddi wrthynt tu ag ergid a Mat. 26
carreg: ac wedi iddo fyned ar ei liniau, efe a weddi- 39
odd,
42 b Gan ddywedyd, Fy Nhad, os ewyllysi gymmer- b Act. 21,
yd y cwppan hwn oddi wrthyf, er hynny, nid fy 14 1Pedr 4,
ewyllys i, ond dy ewyllys di a gyflawner. 19
43 c Ac angel o'r nef a ymddangosodd iddo ef, i'w c Mat. 4,
gadarnhau. 11 Heb 1, 14
44 d Eithr efe mewn ymdrech [meddwl] a weddiodd d Gal. 3,
yn ddyfalach, a'i chwys ef oedd fel dagrau gwaed yn 13 Heb 5, 7,
descyn i lawr ar y ddaiar. 9
45 A phan gododd efe o'i weddi, a dyfod at ei ddis- Iona 2, 8
cyblion, efe a'u cafodd hwynt yn cysgu gan dristwch.
46 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham yr ydych
yn cysgu? codwch, a gweddiwch nad eloch mewn
profedigaeth.
47 e Ac efe etto yn ymddiddan, wele 'r dyrfa a hwn e Mat. 26,
a elwir Iudas un o'r deuddec a aeth o'i blaen hwynt, 48
ac a nesaodd at yr Iesu i'w gusanu ef.
48 f A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Iudas, a'i â chusan f Salm 41,
y bradychi di Fab y dyn? 9 a 55, 13
49 A phan welodd y rhai oedd yn ei gylch ef y peth
oedd ar ddyfod, hwynt hwy a ddywedasant wrtho, O
Arglwydd a darawn ni a chleddyf.
50 g Ac un o honynt a darawodd was yr arch-offeir- g Mat. 26
iad, ac a dorrodd ymmaith ei glust ddehau ef. 51
51 h Yna 'r Iesu a attebodd gan ddywedyd, Goddef- h Mat. 5,
wch hyd hyn: ac efe gan gyffwrdd â'i glust a'i iach- 44
aodd ef.
52 i A'r Iesu a ddywedodd wrth y rhai a ddaethant i Mat. 26,
atto ef [nid amgen na'r] arch-offeiriaid a phennaethiaid 47
y Deml, a'r henuriaid, Ai fel at leidr y daethoch chwi
allan â chlefyddau, ac â ffynn?

---

PEN. XXII. Adn. 36. "A phryned gleddyf." Yr oedd yr erlidwyr yn cysgu nes bradychu yr Iesu; ac yna, yr oedd achos i'r sawl na fedrai ddwyn y groes i brynu cleddyf! yr oedd hunan Pedr am amddiffyn, adn. 33. ond ysbryd Crist yn dysgu dyoddef! Adn. 37. "Dyben i'r pethau am danaf fi:" h. y. cyflawniad yr ysgrythyrau yn ei ddyoddefiadau; ac yna y dysgyblion fyddai nôd y gelynion! a gwrthddrych eu holl genfigen.

j Dat.15,5 53 j Pan oeddwn beunydd gyd â chwi yn y Deml
Eph.6,12 nid estynnasoch ddwylo i'm herbyn, eithr hon yw
eich awr chwi, a gallu 'r tywyllwch.
k Ioan18, 54 k Yna y cymmerasant ef, ac yr aethant ag ef, ac
13 a'i dugasant ef i dŷ 'r arch-offeiriad, a Phetr a'i can-
lynodd ef o hir-bell.
55 Ac wedi iddynt gynneu tân yng-hanol y llys a
chyd eistedd o honynt i lawr, yr eisteddodd Petr hefyd
yn eu plith.
56 A phan ganfu rhyw langces ef yn eistedd wrth y
tân, a dal sylw arno, hi a ddywedodd, Hwn hefyd oedd
gyd âg ef.
l Rhuf.11 57 l Ac yntef a wadodd gan ddywedyd, O wraig nid
20 adwen ef.
Ioan 15,5
m Gen.12 58 m Ac ychydig wedi, un arall a'i gwelodd [ef,] ac a
13 a 20, 2 ddywedodd, A thithe wyt [un] o honynt, a Phetr a
ddywedodd, O ddyn nid ydwyf.
n Mat.26 59 n Ac yng-hylch pen yr awr yn ol hynny, un arall
73 a daerodd gan ddywedyd, Yn wir yr ydoedd y dyn hwn
gyd âg ef, canys Galilæad yw efe.
60 A Phetr a ddywedodd, Y dyn ni's gwn beth yr
wyt yn ei ddywedyd: ac yn y man, ac efe etto yn
llefaru, y canodd y ceiliog.
o Mat.26, 61 o Yna y troes yr Arglwydd, ac yr edrychodd ar
34 Petr: a Phetr a feddyliodd am ymadrodd yr Arglwydd
fel y dywedase efe wrtho, Cyn canu 'r ceiliog y gwedi
fi dair gwaith.
p Gen.43 62 p Ac wedi i Petr fyned allan, efe a ŵylodd yn
30 chwerw.
Mat. 26, 75 63 q A'r rhai a ddaliasant yr Iesu, ai gwatwarasant
q Ioan 18, 22 [ef] gan ei daro.
Marc 14 64 r Ac wedi iddynt guddio ei lygaid ef, tarawsant
65 ef ar ei wyneb, gan ofyn iddo, a dywedyd, Prophwyda
r Pen. 7, 16 pwy a'th darawodd.
Ioan7,48 65 s A llawer eraill a ddywedasant yn ei erbyn ef
s 1 Pedr 2,23 gan gablu.
Act.8,32 66 t A phan ddyddhaodd hi yr ymgynhullodd hen-
t Rhuf.3, 15 uriaid y bobl a'r arch-offeiriaid, a'r scrifennyddion: ac
a'i dugasant ef iw cyngor,
u Ioan 1, 67 u Gan ddywedyd, Ai ti yw Crist? dywet i ni, ac
20 9, 22 efe a ddywedodd wrthynt, Pe dywedwn i chwi, ni's
credech:
68 Ac os gofynaf [i chwi] nid attebwch fi, ac ni'm
gollyngwch ymmaith.
v Mat. 25 69 v Yn ol hyn y bydd Mab y dyn yn eistedd ar dde-
31 heu-law gallu Duw.
w Mat.26 70 w A hwy oll a ddywedasant, A ydwyt ti gan hynny
63 yn Fab Duw? ac efe a ddywedodd wrthynt, Yr ydych
chwi yn dywedyd fy mod.
x Mat, 26 71 x Yna y dywedasant, Pa raid i ni mwy wrth des-
66 tiolaeth? canys clywsom ein hunain o'i enau ef.

## PEN. XXIII.

*Y modd y dygwyd Crist o flaen Pilat a Herod, 18 Y dewiswyd Barabbas oi flaen ef. 26 Y gwnaed i Simon ddwyn ei groes ef, 27 Ac atteb Crist i'r gwragedd galarus. 33 Y modd y dioddefodd Crist gan weddio tros ei elynion, 35 Ac y claddwyd ef.*

y Mat.27, YNA y y cyfododd yr holl liaws, ac a'i dugasant
2 ef at Pilatus.
z Act.24. 2 z Ac a ddechreuasant achwyn arno, gan ddywedyd,
5, a 17, 6 Nyni a gawsom hwn yn gŵyrdroi 'r bobl, ac yn gwa-
hardd talu teyrn-ged i Cæsar, gan ddywedyd mai efe
yw Crist Frenin.
a Act. 17, 3 Yna Pilatus a ofynnodd iddo gan ddywedyd, Ai
7 ti yw Brenin yr Iuddewon? ac efe a atebodd, ac a
Ioan 6,15 ddywedodd, Yr wyt ti yn dywedyd.
4 b Yna y dywedodd Pilatus wrth yr archoffeiriaid, b Act.25, 31
a'r bobl, Nid ydwyfi yn cael dim bai ar y dyn hwn. Salm35.7
5 c Ac hwy a fuant daerach gan ddywedyd, Y mae c Act.18, 13
efe yn cyffroi 'r bobl, gan ddyscu trwy holl Iudæa, Amos 7,
wedi dechreu o Galilæa hyd ymma. 10
6 A phan glybu Pilatus son a'm Galilæa, efe a ofyn-
nodd ai Galilæad ydoedd efe.
7 A phan wybu efe ei fod ef o lywodraeth Herod,
efe ai hanfonodd ef at Herod, yr hwn oedd y dyddiau
hynny yn Ierusalem.
8 d A phan welodd Herod yr Iesu, efe a lawennych- d1 Cor.1,
odd yn fawr, am ei fod yn ewyllysio ei weled ef er 22
ystalm o amser, o blegit iddo glywed llawer am dano Act. 17,
ef, ac yr ydoedd efe yn gobeithio cael gweled rhyw 21
ryfeddod ganddo.
9 Ac efe a ofynodd iddo lawer o chwedlau, eithr nid
attebodd efe ddim iddo ef.
10 A'r arch-offeiriaid, a'r scrifennyddion a safasant,
ac a achwynasant arno ef yn haerllyg.
11 A Herod a'i filwyr, wedi iddo ei ddiystyru ef, a'i
watwar, a'i wisco â gwisc glaerwen, a'i danfonodd ef
trachefn at Pilatus.
12 e A'r dydd hwnnw y cymmododd Herod â Phi- e Iago4,4
latus: canys gelynion oeddynt o'r blaen i'w gilydd.
13 Yna Pilatus, wedi galw ynghyd yr archoffeiriaid,
a'r llywiawd-wyr, a'r bobl,
14 f A ddywedodd wrthynt, Chwy-chwi a ddugasoch f Mat.27,
y dyn hwn attafi, fel un a fydde yn gŵyr-droi y bobl, 23
ac wele, mi a'i holais ef yn eich gwydd chwi, ac ni Act. 26.
chefais yn y dyn hwn yr un o'r beiau yr ydych chwi 16
yn ei gyhuddo ef am danynt: Dan. 6,4
15 g Na Herod chwaith: canys anfonais chwi atto g1 Pedr1
ef, ac wele ni wnaed iddo ef ddim yn haeddu marw- 15
olaeth.
16 h Am hynny mi a'i ceryddaf ef, ac a'i gollyngaf h Diar.18
ymmaith. 10
17 i (Canys yr ydoedd yn rhaid iddo ollwng un yn i Ioan 18,
rhydd iddynt ar yr ŵyl) 39
18 j Yna'r holl dyrfa a lefodd ar un-waith, gan ddy- Marc15,
wedyd, Ymmaith ag ef, a gollwng i ni yn rhydd Bar- 6 j Act. 21,
abbas: 36
19 Yr hwn am ryw derfysc a llofruddiaeth a wneu-
thid yn y ddinas a fwriasid yng-harchar.
20 A Philatus a ymddiddanodd â hwynt drachefn
mewn ewyllys i ollwng yr Iesu yn rhydd.
21 A hwy a wrth-lefasant, gan ddywedyd, Croes-
hoelia, croes-hoelia ef.
22 k Ac yntef a ddywedodd wrthynt y drydydd k Pen.22,
waith, Eithr pa ddrwg a wnaeth efe? ni chefais i achos 34
marwolaeth ynddo: am hynny wedi i mi ei gospi ef,
mi a'i gollyngaf ef.
23 l Hwythau a fuant daerion â llefain uchel, gan l Pen. 18,
erchi ei groes-hoelio ef: a'u llefain hwynt a'r arch- 4
offeiriaid a orfuant.
24 Yna Pilatus a farnodd wneuthur eu dymuniad
hwynt.
25 m Ac ai gollyngodd ef yn rhydd iddynt, yr hwn m Act. 3,
am derfysc a llofruddiaeth a fwriasid yng-harchar, yr 23
hwn a ofynnasant: ac a roddodd yr Iesu i'w hewyllys
hwynt. n Mat 27,
26 n A phan oeddynt yn ei ddwyn ef ymaith, daliasant 32
un Simon o Cyrene, yn dyfod o'r wlad, ac a ddodas- Ioan 19,
ant y groes arno ef i'w dwyn ar ol yr Iesu. 27
27 o A thyrfa fawr o bobl, ac o wragedd oeddynt yn o Pen. 19,
37

ei ganlyn ef, y rhai oeddynt yn cwynfan, ac yn galaru
o'i blegit ef.
pPhil, 2, 7, 8 28 p A'r Iesu a droes attynt, gan ddywedyd, Merch-
ed Ierusalem, nac wylwch o'm hachos i, eithr wylwch
o'ch achos eich hunain a'ch plant,
qPen.19, 29 q Canys wele, fe a ddaw yr dyddiau y dywedant,
Gwyn eu byd y rhai amhlantadwy a'r crothau y rhai
ni heppiliasant, a'r bronnau y rhai ni roesant sugn.
rEsa.2.19 30 r Yna y dechreuasant ddywedyd wrth y mynydd-
Hos.10.8 oedd, Syrthiwch arnom: ac wrth y bryniau Cudd-
iwch ni.
s1Pedr4, 31 s Canys os gwnant hyn i'r prenn ir, pa beth a
17 wnair i'r crin?
tEsa.53, 32 t Ac fe a ddygwyd dau eraill, y rhai [oeddynt]
12 ddrwg weithredwyr iw rhoi iw marwolaeth gyd ag ef.
uMat.27, 33 u A phan ddaethant i'r lle a elwir y Benglogfa,
33 yna y croes-hoeliasant ef a'r drwg-weithredwyr: un
Ioan19,17 ar ei ddeheulaw, a'r llall ar ei law aswy.
vAct.7, 34 v A'r Iesu a ddywedodd, O Dad, maddeu iddynt:
60 canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur.
Mat.5,44 Ac hwynt hwy a rannasant ei ddillad ef, ac a fwrias-
1Cor.4.12 ant goel-bren.
Act.3.17 35 w A'r bobl a safasant yn edrych: a'r pennaeth-
wSal.22, iaid hefyd ai gwatwarasant ef, gan ddywedyd, Efe a
13 waredodd rai eraill, gwareded ei hun os hwn yw
a 55, 15 Crist detholedig Duw.
xMat.27 36 x A'r milwyr hefyd a'i gwatwarasant ef gan ddyfod
48 atto, a chynnig iddo finegr,
37 Gan ddywedyd, Os ty di yw Brenin yr Iuddewon,
gwaret dy hun.
yMarc15 38 y Ac yr ydoedd ei scrifen ef wedi ei scrifennu
26 uwch ei benn, â llythyrennau Groeg, Ladin, ac Ebrew:
Ioan19,19 HWN YW BRENIN YR IDDEWON.
zDat.16, 39 z Ac un o'r drwg-ddynion a'r a groes-hoeliasid ai
cablodd ef, gan ddywedyd, Os ty di yw Crist, gwaret
2Cron 28 ty hun a ninnau.
Ier.5,3 40 a A'r llall a attebodd, ac ai ceryddodd ef gan ddy-
aEph.5, wedyd, Ond ydwyt ti yn ofni Duw am dy fod dan yr
11
Ios.7,19 un farn?
bSalm51, 41 b A nyni yn ddiau [a gospir] yn gyfiawn canys yr
4
Dan.9,7 ydym yn derbyn yr hyn sydd addas am yr hyn a
wnaethom, eithr ni wnaeth hwn ddim anghymhesur.
cSalm106 42 c Ac efe a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd
4 coffa fi pan ddelech i'th deyrnas.
d2Cor.12 43 d A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yn wir meddaf i
ti, heddyw y byddi di gyd â mi ymmharadwys.
Dat.2,7 44 e Ac yr ydoedd hi yng-hylch y chweched awr: a
Khuf.5.8
eMarc15 thywyllwch a fu ar yr holl ddaear hyd y nawfed awr.
33
Mat.27, 45 f A'r haul a dywyllodd, a lleun y Deml a rwygodd
45 yn ei chanol.
fEph.2, 46 g A'r Iesu gan lefain â llef uchel a ddywedodd,
14
Mat.27, Fy-Nhad, i'th ddwylo yr wyf yn rhoddi fy yspryd: ac
51
gSalm31, wedi iddo ddywedyd hyn, efe a drengodd.
5
47 h A phan welodd y Canwriad y peth a fu, efe a
hMat 27, ogoneddodd Dduw, gan ddywedyd, Yn wir, yr oedd
54
a 11, 19 y gwr hwn yn gyfiawn.
iPen.18, 48 A'r holl dyrfa y rhai a ddaethent yng-hyd i edrych,
13 wrth weled y pethau a fu, a ddychwelasant gan guro
jMat.27, eu dwyfronnau.
55
kMat.27 49 j Ai holl gydnabod ef a safasant o hirbell, a'r
57
Ioan 19, gwragedd y rhai a'i canlynasent ef o'r Galilæa, oedd-
38 ynt yn edrych ar y pethau hyn.
lEsa.8,12 50 k Ac wele gŵr a elwid Ioseph, cynghorwr, gŵr
1Tim.5, da a chyfiawn.
22
Pen.2,25 51 l (Yr hwn ni chyttunase ai cyngor, ac ai gweithred



hwynt) o Arimathea dinas yr Iddewon: yr hwn oedd
hefyd yn disgwyl am deyrnas Dduw.
52 m Hwn a ddaeth at Pilatus, ac a ofynnodd gorph mEsa.53
yr Iesu. 9
53 n Ac wedi iddo ei dynnu ef i lawr, efe ai amdôdd nMat.28,
ef mewn lliain main, ac ai rhoddes mewn bedd wedi ei 13
dorri o'r graig, yn yr hwn ni roddasid dyn er ioed.
54 o A'r dydd hwnnw oedd darparwyl, a'r Sabboth oMarc15
yn canlyn. 42
55 p A'r gwragedd hefyd y rhai a ddaethent gyd ag pMat 27
ef o Galilæa, ac oeddynt yn canlyn, a welsant y bedd, 61
a pha fodd y rhoddasid ei gorph ef.
56 q Ac wedi eu dychwelyd hwynt, hwy a baratoasant qMat.28
ber-aroglau, ac ennaint: ac a orphywysasant ar y Sab- 10
both yn ol y gorchymyn.

## PEN. XXIV.

*Dyfodiad y gwragedd i'r bedd, 13. Ymddangosiad Crist i'r ddau ddiscybl y rhai oeddynt yn myned tu ag Emmaus. 36. Y modd yr ymddangosodd efe yn ddisymmwth ym mysc y discyblion, 44. Y gorchymyn a'r addewid a roddes efe iddynt hwy. 50. Y modd y derchafodd efe i'r nef. 53. Ac y bu ymwreddiad ei ddiscyblion ef wedi hynny.*

Y DYDD cyntaf o'r wythnos, ar y cynddydd,
hwynt hwy a ddaethant i'r bedd, gan ddwyn y
pèr-aroglau y rhai a baratoesent, a rhai gyd ag hwynt.
2 r Ac hwy a gawsant y maen wedi ei dreiglo ym- rMarc16,
maith oddi wrth y bedd. 3
3 Ac wedi iddynt fyned i mewn, ni chawsant gorph Salm37,5
yr Arglwydd Iesu.
4 s Ac fe a ddarfu a hwy wedi synnu am y peth hyn, sMat.28,
wele, dau ŵr a safasant wrthynt hwy mewn gwiscoedd 2
disclaer.
5 t Ac wedi iddynt ofni yn gostwng eu hwynebau tu tDat.1,
a'r ddaiar, hwynt-hwy a ddywedasant wrthynt, Pa 18
ham y ceisiwch chwi y byw ym mysc y meirw?
6 u Nid ydyw efe ymma, ond efe a gododd: cofiwch uMat.1,
pa fodd y dywedodd wrthych, ac efe etto yn Galilæa, 23
7 v Gan ddywedyd, Rhaid yw rhoi Mab y dyn yn Marc 9,
nwylo dynion pechadurus, a'i groes-hoelio, a'r trydydd 31
dydd adgyfodi. Pen 9.22
8 A chofiasant ei eiriau ef. 2Pedr 1,
9 w Dychwelasant hefyd oddi wrth y bedd, a myneg- 19
asant hyn oll i'r un ar ddec, ac i'r lleill oll. vMat.16,
10 x A Mair Fagdalen, ac Ioanna, a Mair [mam] Iaco, 21
ac eraill gyd â hwynt, oedd y rhai a ddywedasant y wMat.28
pethau hyn wrth yr Apostolion. 7
11 y Eithr, fel gwegi oedd ganddynt eu geiriau hwy, Ioan 20,
ac nis credasant hwynt. 19
12 z Yna Petr a gododd i fynu, ac a redodd i'r bedd, xPen.9,
ac a edrychodd i mewn, ac a welodd y lliain wedi eu 3
rhoddi o'r neilltu, ac a aeth i mewn gan ryfeddu Mat.15,
rhyngddo ag ef ei hun am y peth a ddarfuase. 40
13 a Ac wele, dau o honynt a aethant y dydd hwnnw y2Cor.5,
i dref a'i henw Emmaus, yr hon oedd yng-hylch tru- 7
gain stad oddi wrth Ierusalem. Act.12,15
14 b Ac yr oeddynt hwy yn ymddiddan â'u gilydd zIoan20,
am yr holl bethau a ddigwyddase. 3
15 c Ac fel yr oeddynt yn ymddiddan, ac yn ymofyn aMarc16
â'i gilydd, yr Iesu yntef a nessaodd, ac a aeth gydâ 12
hwynt. bDeut 6
16 d Eithr eu llygaid hwynt a attaliwyd fel na's ad- 7
waenent ef. Act.8,28
17 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ryw ymad- cAct.14,
roddion yw y rhai hyn sydd gennych wrth eu gilydd 2
dan rodio? a [pha ham] yr ydych yn drist? a 8, 30
dIoan20,
14

18 A'r naill (a'i enw Cleophas) a attebodd, ac a ddy-
wedodd wrtho, A ydwyt ti yn unic yn ymdeithydd
yn Ierusalem, ac ni wyddost y pethau a ddarfu yn y
dyddiau hyn ynddi hi?
e Mat. 2, 24 19 [e] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa bethau? hwy-
thau a ddywedasant wrtho, Yr hyn [a wnaethpwyd]
i Iesu o Nazareth yr hwn oedd wr a oedd brophwyd
galluoc mewn gweithred a gair ger bron Duw a'r
holl bobl.
20 A'r modd y rhoddes yr arch-offeiriaid a'n llyw-
odraeth-wyr ni ef i farn marwolaeth, ac a'i croes-
hoeliasant ef.
f Dan. 2, 44 a 7, 14 Hos. 3, 5 Act. 1, 6 21 [f] Ond yr oeddem ni yn gobeithio mai efe oedd yr
hwn a warede 'r Israel: ac heb law hynny, hwn yw
yr trydydd dydd er pan wnaethpwyd y pethau hyn.
22 A hefyd rhai o'r gwragedd o'n plith ni a'n dych-
rynasant ni, y rhai a ddaethant yn fore at y bedd.
23 A phan na chawsant ei gorph ef hwynt hwy a
ddaethant gan ddywedyd, Weled o honynt weledig-
aeth o angylion, y rhai a ddywedasant ei fod efe yn
fyw.
24 A rhai o'r rhai oedd gyd â nyni a aethant at y
bedd, ac a gawsant fel y dywedase yr gwragedd, ond
ni welsant ef,
g Gal. 3, 1 25 [g] Yna y dywedodd efe wrthynt, O ynfydion a
hwyrfrydic o galon i gredu 'r holl bethau a ddywed-
odd y prophwydi.
h Heb. 2, 9 1 Pedr 1, 11 26 [h] Ond oedd raid i Grist ddioddef y pethau hyn,
ac wedi hyny myned iw ogoniant?
i Ioan 1, 44 Heb 9, 19 27 [i] A chan ddechreu ar Moses a'r holl brophwydi
efe a agorodd iddynt yn yr holl scrythyrau y pethau
oeddynt scrifennedig o honaw ef.
j Gen. 19, 2 28 [j] Ac yr oeddynt yn nesau i'r dref i'r hon yr oedd-
ynt yn myned: ac yntef a gymerth arno ei fod yn
myned ym-mhellach.
k Gen. 33, 11 29 [k] Ac hwy a'i cymmellasant ef gan ddywedyd,
Aros gyd â ni, canys y mae hi yn hwyrhau, a'r dydd
yn darfod: ac efe a aeth i mewn i aros gyd ag hwynt.
l 1 Tim. 4, 4 Act. 27, 35 30 [l] A darfu ag efe yn eistedd gyd ag hwynt, efe gan
gymmeryd bara a'i torrodd, ac a'i rhoddes iddynt.
31 Yna yr agorwyd eu llygaid hwynt ac yr adnabu-
ant ef: ac efe a ddiflannodd allan o'u golwg hwynt.
m Mat. 7, 29 Ier. 20, 9 32 [m] A hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Onid
oedd ein calonnau ni yn llosci ynom tra ydoedd efe yn
ymddiddan â nyni ar y ffordd? a thra yr ydoedd efe
yn agoryd i ni 'r scrythyrau?
n 2 Cron. 20, 12 33 [n] A hwy a godasant yr awr honno, ac a ddych-
welasant i Ierusalem, ac a gawsant yr un ar ddec wedi
ymgasclu yng-hyd, a'r sawl oedd gyd â hwynt,
o 1 Cor. 15, 5 34 [o] Ac a ddywedasant, yr Arglwydd a gyfododd yn
wir, ac a ymddangosodd i Simon.
35 Yna y mynegasant y pethau [a wnaethesid,] ar y
ffordd, a pha fodd yr adnabuant ef wrth doriad y bara.
36 [p] Ac hwy yn dywedyd y pethau hyn, yr Iesu a p Mat. 18, 20
safoddd yn eu canol hwynt, ac a ddywedodd wrthynt, Pen. 19, 19
Tangnheddyf i chwi.
37 [q] Hwythau wedi brawychu, ac ofni a dybiasant q Mat. 14, 26
weled o honynt ysbryd. Act. 12, 9
38 Dywedodd yntef wrthynt, Pa ham i'ch trallodir,
a pha ham y mae traws-feddyliau yn codi yn eich cal-
onnau?
39 [r] Edrychwch fy nwylo a'm traed, mai myfi yw efe: r Ioan 20, 20
teimlwch fi a gwelwch: canys nid oes i ysbryd gnawd, Salm 105,
ac escyrn fel y gwelwch fod i mi. 12, 13
40 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddangosodd
iddynt ei ddwylo a'i draed.
41 Tra yr oeddynt hwy etto heb gredu gan lawenydd,
ac yn rhyfeddu, efe a ddywedodd wrthynt hwy, A oes
gennych ymma ddim bwyd?
42 A hwy a roesant iddo ef ddarn o bysgodyn wedi ei
rostio, ac o ddil mel.
43 [s] Yntef a'i cymmerodd, ac a'i bwyttaodd yn eu s Act. 10, 41
gŵydd hwynt.
44 [t] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y rhai hyn yw yr t Ioan 16, 4
geiriau a ddywedais i wrthych chwi, pan oeddwn etto
*gyd â chwi, bod yn rhaid cyflawni pob peth sydd yn *Scf, cyn i mi ddyoddef,
scrifennedic am danaf yng-hyfraith Moses, a'r proph-
wydi, a'r Psalmau. Adn. 6
45 [u] Yna yr agorodd efe eu deall hwynt, fel y dehall- u Act. 16, 14
ent yr scrythyrau. 1 Cor. 2,
46 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Felly y mae yn 13
scrifennedig, ac felly yr oedd raid i Grist ddioddef, a Mat. 15,
chyfodi o feirw y trydydd dydd: 11
47 [v] A phregethu edifeirwch, a maddeuant pechodau v Mat. 9,
yn ei enw ef ym-mhlith y cenhedloedd oll, gan ddech- 13 Act. 5, 36
reu yn Ierusalem. Gal. 3, 28
48 [x] Ac yr ydych chwi yn dystion o'r pethau hyn. Rhuf. 1, 16
49 [y] Ac wele, mi a anfonaf addewid fy Nhad i chwi: x Act. 10,
arhoswch yn ninas Ierusalem, hyd oni wiscer chwi â 30 y Ioan 14,
nerth o'r uchelder. 16 a 15, 26
50 [z] Ac efe a'u dug hwynt allan hyd Bethania, ac a z Eph. 1, 3
gododd ei ddwylaw, ac a'i bendithiodd hwynt. Gen. 27, 4
51 Ac fe a ddarfu, tra yr oedd efe yn eu bendithio a 48, 9
hwynt, ymadel o honaw ef oddi wrthynt: ac efe a a 49, 1
dducpwyd i fynu i'r nef.
52 [a] A hwy wedi iddynt ei addoli ef a ddychwelas- a Salm 30,
ant i Ierusalem â llawenydd mawr. 5, 11
53 [b] Ac yr oeddynt yn oestadol yn y deml, yn moli, b Act. 1,
ac yn clodfori Duw. Amen. 13

*Terfyn Efengyl yn ol St. Luc.*

---

# CYSSEGR-LAN EFENGYL IESU GRIST
## YN OL
# S<sup></sup>T. IOAN.

### PENNOD. I.

*Duwdab, dyndab, a swydd Iesu Grist, 15. Testiolaeth Ioan, 39. Galwedigaeth Andreas, Petr, Philip, a Nathanael.*

Y N [a] y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyd a 1 Tim. 3, 16
â Duw, a Duw oedd y Gair. Pen. 10, 36
2 [b] Hwn oedd yn y dechreuad gyd â Duw. b Gen. 1, 1

e Col 1,16 3 [e] Trwyddo ef y gwnaeth-pwyd pob peth, ac hebddo
ef ni wnaed dim a'r a wnaeth-pwyd.
d Act. 7, 4 [d] Ynddo ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni
38 dynion.
e Rhuf.1, 5 [e] A'r goleuni a lewyrchodd yn y tywyllwch, a'r
19 1 Cor. 2, tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred.
14 6 [f] Yr ydoedd gwr wedi ei anfon oddi wrth Dduw a'i
f Mal.3,1 enw Ioan.
g 2Cor.3, 7 [g] Hwn a ddaeth yn destiolaeth, fel y testiolaethe efe
3 am y goleuni, fel y crede pawb trwyddo ef.
8 Nid efe oedd y goleuni hwnnw, eithr i destiolaethu
am y goleuni.
h Esa.58, 9 [h] [Hwnnw] oedd y gwir oleuni, yr hwn sydd yn
29 goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd.
i 1Cor. 1, 10 [i] Yn y byd yr oedd efe, a'r byd a wnaethpwyd
21 trwyddo ef: a'r byd nid adnabu ef.
j Rhuf. 9, 11 [j] At ei eiddo ei hun y daeth efe, a'i eiddo ei hun
5 ni's derbyniasant ef.
Luc 19,14 k Gal. 3, 12 [k] Ond cynnifer a'r a'i derbyniasant ef, efe a roddes
26 iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, [sef] i'r sawl a gred-
Act.13,31 ent yn ei enw ef,
13 Y rhai ni aned o waed, nac o ewyllys y cnawd,
nac o ewyllys gwr, eithr o Dduw.
l Gal. 4,4 14 [l] A'r gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd
Col. 1.19 yn ein plith ni, (ac ni a welsom ei ogoniant ef, megis
gogoniant yr unic-ganedic [Fab yn dyfod] oddi wrth
y Tad) yn llawn gras, a gwirionedd.
m Mat.3, 15 [m] Ioan a destiolaethodd am dano ef, ac a lefodd,
3 gan ddywedyd, Hwn oedd yr un a ddywedais am
dano, Yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i, a aeth o'm
blaen i, canys yr oedd efe o'm blaen i.
n Col.1.16 16 [n] Ac o'i gyflawnder ef nyni oll a dderbyniasom,
Eph. 1, 6 a gras am ras.
o Heb. 3, 17 [o] Canys y gyfraith a roddwyd trwy Moses, [ond]
2. 6 Rhuf.10, gras a gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist.
3 18 [p] Ni welodd neb Dduw er ioed: yr unic-enedic
p Pen.13, Fab, yr hwn sydd ym monwes y Tad, hwnnw a'i
23 Heb. 1,1 hyspysodd [ef].
Mat. 11, 19 A hyn yw testiolaeth Ioan, pan anfonodd yr Idd-
27 ewon offeiriaid, a Lefiaid o Ierusalem i ofyn iddo,
Pwy ydwyt ti?
q Pen. 3, 20 [q] Yna efe a gyffessodd, ac ni wadodd, ac efe a
28 addefodd, Nid myfi yw 'r Crist.
Act. 13, 21 [r] A hwyntau a ofynasant, Beth yntef? a'i Elias
25 r Mal.4,5 ydwyt ti? dywedodd yntef, Na-gê, a'i prophwyd yd-
Deut.18, 15 wyt ti? ac efe a attebodd, Na-gê.
22 Yna y dywedasant wrtho ef, Pwy ydwyt ti? fel
y rhoddom ni atteb i'r rhai a'n hanfonodd ni? beth
meddi di am danat dy hun?
s Esa. 40, 23 [s] Eb yr efe, Myfi [ydwyf] llef un yn gweiddi yn
3 Luc3,4,5 y diffaethwch, Iniawnwch ffordd yr Arglwydd, fel y
dywedodd Esau y prophwyd.
t Mat.3,7 24 [t] A'r rhai a anfonasid oeddynt o'r Pharisæaid,
u Mat.21, 25 [u] A hwynt a ofynnasant iddo efe, ac a ddywedasant
25 wrtho, Pa ham gan hynny yr ydwyt ti yn bedyddio,
onid ydwyt ti y Crist, nac Elias, na'r prophwyd?
v Act. 19, 26 [v] Ioan a'u hattebodd hwynt, gan ddywedyd: Myfi
4 sy yn bedyddio â dwfr, ond y mae un yn sefyll yn eich
1Cor.2,8 plith chwi, yr hwn nid adwaenoch.
w Pen.8, 27 [w] Efe yw 'r hwn sydd yn dyfod ar fy ol i, yr hwn
58 Mat. 11, a ddaeth o'm blaen i, yr hwn nid ydwyfi deilwng i
11 ddattod carre ei escid.
28 Y pethau hyn a wnaed yn Bethabara y tu hwynt
i'r Iorddonen, lle yr oedd Ioan yn bedyddio.
x Esa.53, 29 [x] Trannoeth Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod atto
7

ef, ac efe a ddywedodd, Wele Oen Duw yr hwn sydd
yn tynnu ymmaith bechodau yr byd.
30 Hwn yw efe, am yr hwn y dywedais, Ar fy ol y
mae gwr yn dyfod, yr hwn a wnaed yn gynt na mi,
canys yr oedd efe o'm blaen i.
31 [y] Ac nid adwaenwn i mo honaw ef: eithr fel yr y 1Cor.15
amlygid ef i Israel, am hynny y daethum i, gan fedydd- 8
io â dwfr,
32 [z] Ac Ioan a destiolaethodd, gan ddywedyd: Yn z Mat. 3,
ddiau mi a welais yr Yspryd yn descyn megis colom- 16 Marc 1,
men o'r nef, ac efe a arhosodd arno ef. 10
33 A nid adwaenwn i ef, ond yr hwn a'm hanfon-
odd i fedyddio â dwfr, efe a ddywedasse wrthif: Ar yr
hwn y gwelech yr Yspryd yn descyn, ac yn aros arno,
hwnnw yw yr un sydd yn bedyddio â'r Yspryd Glan.
34 [a] Ac mi a welais, ac a destiolaethais, mai hwn yw a 2Pedr1
Mab Duw. 16
35 Trannoeth y safodd Ioan eil-waith, a dau o'i
ddiscyblion:
36 A phan welodd efe yr Iesu yn rhodio, efe a
ddywedodd, Wele 'r Oen Duw.
37 [b] A'r ddau ddiscybl ai clywsant ef yn llefaru, ac b Mat.11
a ganlynasant yr Iesu. 2
38 Yna Iesu a droes, a phan welodd hwynt yn ei
ganlyn ef, efe a ddywedodd wrthynt, Beth yr ydych
chwi yn ei geisio? a hwynt a ddywedasant wrtho ef,
Rabbi (yr hyn oi ddehongli yw Athro) pa le yr ydwyt
ti yn trigo?
39 [c] Efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch, a gwelwch, c Mat.7,7
hwyntau a ddaethant, ac a welsant, lle yr oedd efe yn Can. 1,7,
trigo, ac a arhosasant gyd ag ef y diwrnod hwnnw, ac 8
yr oedd hi yng-hylch y ddecfed awr.
40 Andreas, brawd Simon Petr oedd un o'r ddau a
glywsent [hynny] gan Ioan, ac a'i dilynasent ef.
41 Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun Simon,
ac a ddywedodd wrtho, Nyni a gawsom y Messias, yr
hwn o'i ddeongli yw Crist.
42 [d] Ac efe ai dug ef at yr Iesu, a'r Iesu a edrychodd d Luc 22,
arno ef [ac] a ddywedodd: Ti ydwyt Simon mab Iona: 31 Pen.4,33
ti a elwir Cephas, yr hwn o'i ddeongli yw craig.
43 [e] Trannoeth yr ewyllysiodd yr Iesu fyned i Gali- e Can.2,4
læa, ac efe a gafodd Philip, ac a ddywedodd wrtho, 1Ioan 4,
Dilyn fi, 19
44 A Philip oedd o Beth-saida, o ddinas Andreas, a
Phetr.
45 [f] Philip a gafodd Nathanael, ac a ddywedodd f Gen. 3,
wrtho, Nyni a gawsom Iesu fab Ioseph hwnnw o Na- 15 Mica 5,2
zareth, am yr hwn yr scrifennodd Moses yn y gyfraith Dan.9,25
a'r prophwydi.
46 [g] A Nathanael a ddywedodd wrtho ef, A ddichon g Pen. 7,
dim da ddyfod o Nazareth? Philip a ddywedodd wrtho 52 1Thes. 5,
ef, Tyret ti, a gwel. 21
47 [h] Iesu a ganfu Nathanael yn dyfod atto ef, ac a h Rhuf.2,
ddywedodd am dano, Wele Israeliad yn wir, yn yr 28
hwn nid oes dwyll. Salm32,2
48 [i] Nathanael a ddywedodd wrtho, Pa fodd i'm had- i Mat.25,
waenost? Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, 27 Mat. 7.6
Cyn i Philip dy alw di pan oeddit tann y ffigus-bren, Act.9,11
mi a'th welais di.
49 [j] Nathanael a attebodd ac a ddywedodd wrtho ef, j Salm2,6
Rabbi, ti ydwyt Fab Duw, ti ydwyt Frenin Israel. Dat 17,14
50 [k] Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho ef, O 1Tim. 6,
herwydd i mi ddywedyd wrthit ti, Mi a'th welais di 15 k Mat.13,
tann y ffigus-bren yr ydwyt ti yn credu; ti a gei weled 18
pethau mwy na'r rhai hyn.

1Col.1,20 51 [l] Ac efe a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, ar ol hyn y gwelwch y nef yn agored, ac angelion Duw yn escyn, ac yn descyn ar Fab y dyn.

## PEN. II.

*8. Crist yn troi'r dwfr yn win. 14. Yn gyrru y pryn-wyr a'r gwerth-wyr o'r deml, 19. Ac yn eu rhac-rybuddio am ei farwolaeth a'i ailgyfodiad, mewn dammeg am ddinistrio y deml ai hadeiladu mewn tridiau.*

A'R trydydd dydd y gwnaed priodas yn Cana Galilæa: a mam yr Iesu oedd yno.

m Mat.11, 19 2 [m] Galwyd yr Iesu hefyd, a'i ddiscyblion i'r briodas.

n Rhuf.10, 3 3 [n] A phan pallodd y gwin, mam yr Iesu a ddywedodd wrtho ef, Nid oes ganddynt mo'r gwin.

Pen.7,2, 8 o Preg.3, 1 4 [o] Iesu a ddywedodd wrthi hi, Beth sydd i mi [a wnelwyf] â thi wraig? ni ddaeth fy awr i etto.

p Mat.16, 24 5 [p] Ei fam ef a ddywedodd wrth y gwasanaeth-wyr, Beth bynnac a ddywedo efe wrthych, gwnewch.

q Marc 7, 3 Mat.23, 25 6 [q] Ac yr oedd yno chwech o ddyfr-lestri meini, wedi eu gosod yn ol defod puredigaeth yr Iddewon, y rhai a ddalient bob un ddau ffircyn neu dri.

7 Iesu a ddywedodd wrthynt, Llenwch y dyfr-lestri o ddwfr: a hwynt a'u llanwasant hyd yr ymyl.

8 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch yn awr, a dygwch at lywodraethwr y wledd: a hwy a ddugasant.

r Mat.19, 26 1 Bren.17, 16 9 [r] Pan brofodd llywodraeth-wr y wledd y dwfr yr hwn a wnaethid yn win, (canys ni wydde efe o ba le y cawsid: onid y gwasanaeth-wyr y rhai a ollyngasent y dwfr a wyddent) llywodraeth-wr y wledd a alwodd ar y priod-fab,

s Gen.43, 34 Hag.1,6 10 [s] Ac a ddywedodd wrtho ef, Pob dyn a esyd y gwin da yn gyntaf, a phan yfont yn dda, yna un a fyddo gwaeth; tithe a gedwaist y gwin da hyd yr awr hon.

t Pen.4, 46 Act.16, 26 11 [t] Hyn o ddechreu gwrthiau a wnaeth yr Iesu yn Cana Galilæa, ac a eglurodd ei ogoniant; a'i ddiscyblion a gredasant ynddo.

a 5.14 u Mat.9, 1 a 13,57 Pen.7,5 12 [u] Wedi hynny efe a aeth i wared i Capernaum, efe a'i fam, a'i frodyr, a'i ddiscyblion, ac nid arhosasant yno nemmor o ddyddiau.

v Mat.3, 15 13 [v] A Phasc yr Iddewon oedd yn agos, am hynny'r aeth yr Iesu i fynu i Ierusalem.

w Deut.14,23,26 Ex.30,12, 13 14 [w] Ac efe a gafodd yn y deml rai yn gwerthu ychen, a defaid, a cholomennod, a newidwyr arian yn eisteddu [yno].

x Diar26, 3 Zec.4,6 Salm93,5 1Cor.5,7 15 [x] Pan wnaeth efe ffrangell o reffynnau, efe a'u gyrrodd hwynt oll allan o'r deml, y defaid hefyd a'r ychen, ac a dywalltodd arian y newid-wyr, ac a ddymchwelodd y byrddau.

y 1Tim.6 10 16 [y] Ac efe a ddywedodd wrth y rhai oeddynt yn gwerthu colomennod, Dygwch y rhai hyn oddi ymma: na wnewch dŷ fy Nhad i yn dŷ marchnat.

z Salm 69 9 Dat.2,2 17 [z] A'i ddiscyblion ef a gofiasant fod yn scrifenedic, Zêl dy dŷ di a'm hyssodd i.

a 1Cor.1, 22 18 [a] Yna'r Iddewon a attebasant, ac a ddywedasant wrtho ef, Pa arwydd a ddangosi di i ni, gan i ti wneuthur y peth hyn?

19 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Dinistriwch y Deml hon, ac mewn tridiau y cyfodaf hi trachefn.

b 2Pedr3 16 Ezra 4,5, 6 20 [b] Yna'r Iddewon a ddywedasant, Chwe blynedd a deugain y buwyd yn adeiladu y deml hon, ac a gyfodit ti hi mewn tri-diau?

c Col.2,9 21 [c] Ond efe a ddywedase am deml ei gorph.

Ioan 1,14 22 Am hynny pan gyfododd efe o feirw, ei ddiscyblion a gofiasant iddo ef ddywedyd hyn wrthynt hwy: a hwynt a gredasant yr scrythyr, a'r gair yr hwn a ddywedase yr Iesu.

23 [d] A phan oedd efe yn Ierusalem ar y Pasc yn yr wyl, llawer a gredasant yn ei enw ef, wrth weled y gwrthiau y rhai a wnaeth efe. d Pen.5, 35 Mat.13, 21 Act.8, 13

24 [e] Ond nid ymddiriedodd yr Iesu iddynt am dano ei hun, am yr adwaene efe hwynt oll. e Mat.10, 16

25 [f] Ac am nad oedd rhaid iddo wrth neb i destiolaethu am ddyn, o herwydd yr oedd efe yn gwybod beth oedd mewn dyn. Diar.14, 15 f Dat.2, 23 Mat.9,4

## PEN. III.

*3. Crist yn addyscu Nicodemus yng-hylch yr adenedigaeth. 15. Am ffydd. 16. Am serch Duw er lles i'r byd. 23. Dysceidiaeth, a bedydd Ioan. 28. A'r destiolaeth a ddug efe am Grist.*

AC [g] yr oedd dŷn o'r Pharisæaid, a'i enw Nicodemus, pennaeth yr Iddewon. g 1Tim.1 15

2 [h] Hwn a ddaeth at yr Iesu liw nôs, ac a ddywedodd wrtho ef, Rabbi, nyni a wyddom mai dyscawdur ydwyt ti wedi dyfod oddi wrth Dduw: canys nid alle neb wneuthur y gwrthiau hyn y rhai yr ydwyt ti yn eu gwneuthur, oni bai fod Duw gyd ag ef. Pen.7,50 h Pen.7, 51 Mat.20 20

3 [i] Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho ef, Yn wir, ynwir meddaf i ti, oddi eithr geni dyn trachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw. i Pen.1, 13 1Pedr.2, 2

4 [j] Nicodemus a ddywedodd wrtho ef, Pa fodd y dichon dyn ei eni, ac efe yn hen? a ddichon efe fyned i groth ei fam trachefn ai eni? j 1Cor.2, 14 a 1,18

5 [k] Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddi eithr geni dyn o ddwfr, ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw. k Ezec. 36,25 Rhuf.6, 3,4

6 [l] Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd, a'r hyn a aned o'r Yspryd sydd yspryd. l Gal.5,17 Rhuf.8,7

7 [m] Na ryfedda di ddywedyd o honof i wrthyt y bydd rhaid eich geni chwi trachefn. m Salm 139,14 1 Cor.2, 11

8 Y mae y gwynt yn chwythu lle y myuno, a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le yr aiff: felly y mae pawb a'r a aned o'r Yspryd.

9 Nicodemus a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, Pa fodd y dichon y pethau hyn fod?

10 [n] Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn ddyscawdur yn Israel, ac ni wyddost ti y pethau hyn? n Mal.2, 7

11 Yn wir, yn wir meddaf i ti, mai yr hyn a wyddom yr ydym yn ei ddywedyd, a'r hyn a welsom yr ydym yn ei destiolaethu, ond nid ydych yn derbyn ein testiolaeth ni.

12 [o] Os dywedais i chwi bethau daiarol, a chwithau nid ydych yn credu, pa fodd y credech pe dywedwn i chwi bethau nefol? o Mat.13, 3

13 [p] Ac ni escynnodd neb i'r nef, oddi eithr yr hwn a ddescynodd o'r nef, [sef] Mab y dyn yr hwn sydd yn y nef. p Pen.1, 8 a 16,14

14 [q] Ac megis y derchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y bydd rhaid derchafu Mab y dyn, q Num. 11,9 Pen.12, 32

15 Fel na choller pwy bynnac a gredo ynddo ef, onid caffael o honaw fywyd tragywyddol.

16 [r] Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-enedig fab, fel na choller neb a'r y sydd yn credu ynddo ef, eithr caffael o honaw ef fywyd tragywyddol. r Pen.17, 9 1Ioan2,2 Rhuf.1, 23 a 8,32

17 O blegit ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i farnu yr byd, onid i iachau yr byd trwyddo ef.

sGen. 3, 18 s Nid ydys yn barnu yr hwn a gredo ynddo ef, ond
Gal. 5,10 yr hwn nid yw yn credu a farnwyd eusus, am na chred-
odd yn enw unig-genedig Fab Duw.
tRhuf. 1, 19 t A hyn yw 'r farnedigaeth, dyfod goleuni i'r byd,
2Pedr 2, a charu o ddynion dywyllwch yn fwy na'r goleuni, o
herwydd bod eu gweithredoedd hwy yn ddrwg.
u 1Bren. 20 u O herwydd pob un a'r sydd yn gwneuthur drwg
Dat. 11, sy yn cassau y goleuni, ac ni ddaw i'r goleuni, rhac
argyoeddi ei weithredoedd.
vAmos 5, 21 v Ond yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd a
Tim. 3,5 ddaw i'r goleuni, fel yr eglurheuir ei weithredoedd ef,
Esa. 26, mai yn Nuw y gwnaed hwynt.
Pen. 2, 3 22 Wedi hyn y daeth yr Iesu a'i ddiscyblion i wlad
Iudæa, ac yno yr arhosodd efe gyd â hwynt, ac y
bedyddiodd.
w Rhuf. 23 w Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio yn Ainon
Pet. 6, 16 ger llaw Salim, canys dyfroedd lawer oeddynt yno:
a hwynt a ddaethant, ac fe a'u bedyddiwyd.
24 Canys ni fwriasid Ioan etto yng-harchar.
xMat. 9, 25 x Yna y bu ymofyn rhwng discyblion Ioan a'r
Heb 9,10 Iddewon yng-hylch puredigaeth.
y Num. 26 y A hwy a ddaethant at Ioan, ac a ddywedasant
1Cor. 3,4 wrtho ef, Rabbi, yr hwn oedd gydâ thi y tu hwnt i'r
Iorddonen, am yr hwn y testiolaethaist, wele y mae
efe yn bedyddio, a phawb sy yn dyfod atto ef.
z1Cor. 15 27 z Ioan a attebodd ac a ddywedodd, Ni ddichon
dyn dderbyn dim, oni roddir iddo ef o'r nefoedd.
28 Chwy-chwi eich hunain ydych fy nhystion i, ddy-
wedyd o honofi, Nid myfi yw Crist, eithr fy mod
wedi fy anfon o'i flaen ef.
a2Cor 11 29 a Yr hwn y mae iddo briod-ferch yw 'r priod-fab:
Luc 2,26 ond cyfaill y priod-fab yr hwn sydd yn sefyll, ac yn
ei glywed ef, sydd yn llawenychu yn ddirfawr o
blegit llef y priod-fab: fy llawenydd hwn maufi gan
hyny a gyflawnwyd.
Esa. 9,7 30 b Rhaid ydyw iddo ef gynnyddu, ac i minne
Dan 2,35 leihau.
cPhil. 2, 31 c Yr hwn a ddaeth oddi uchod sydd goruwch
Pen. 8,23 pawb oll, yr hwn sydd o'r ddaiar, sydd o'r ddaiar, ac
Mat. 16, am y ddaiar y mae yn ymadrodd: yr hwn a ddaeth
o'r nef sydd goruwch pawb.
32 A'r hyn a welodd efe, ac a glywodd, hynny y
mae efe yn ei destiolaethu: ond nid yw neb yn der-
byn ei destiolaeth ef.
d2Cor. 1, 33 d Yr hwn a dderbynniodd ei destiolaeth ef a seliodd
fod Duw yn gywir.
eCol. 1,19 34 e Canys yr hwn a anfonodd Duw sydd yn llefaru
geiriau Duw: o blegid nid wrth fesur y mae Duw yn
rhoddi [iddo ef] yr Yspryd.
fMat. 11, 35 f Y mae y Tad yn caru y Mab, ac efe a roddodd
a 23, 18 bob peth yn ei law ef.
36 Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae iddo
fywyd tragywyddol: a'r hwn sydd yn anghredu 'r
Mab ni wêl efe y bywyd, eithr y mae digofaint Duw
yn aros arno ef.

## PEN. IV.

*3. Ymddiddan Crist a'r wraig o Samaria, 34. Ei fawr serch ef ar ei Dad ei gynhaiaf, 39. troad y Samariaid, 45. A'r Galilæaid i'ffydd, 27. Efe yn iachau mab y llywiawdur.*

A g PHAN wybu 'r Arglwydd glywed o'r Pharis-
æaid ddarfod i'r Iesu wneuthur a bedyddio mwy
o ddiscyblion nag Ioan,
2 h (Er na fedyddiase efe ei hun: eithr ei ddiscybl-
ion)
3 i Efe a adawodd Iuda, ac a aeth eil-waith i Galilæa.

4 j Ac yr ydoedd yn rhaid iddo ef fyned trwy Sa- jLuc9,52
maria.
5 k Yna efe a ddaeth i ddinas yn Samaria a elwid Si- kGen.31,
char, ger llaw y rhan-dir yr hon a roddase Iacob iw 18,19
fab Ioseph.
6 l Ac yno yr oedd ffynnon Iacob, yna yr Iesu yn lMat. 4,2
ddeffygiol gan y daith a eisteddodd felly ar y ffynnon: Heb. 4,15
yng-hylch y chweched awr ydoedd hi.
7 m Daeth gwraig o Samaria i dynnu dwfr, a'r Iesu a mGal. 3,
ddywedodd wrthi hi, Dyro i mi ddiod. 28
8 Canys ei ddiscyblion ef a aethent i'r ddinas i brynu Marc 15,
bwyd.
9 Yna'r wraig o Samaria a ddywedodd wrtho ef, Pa
fodd gan dy fod ti yn Iddew y gofynni di ddiod i mi
yr hon ydwyf wraig o Samaria? o blegit nid yw yr
Iddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid.
10 n Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Pes ad- nRhuf.8,
waenit ti ddawn Duw, a phwy yw yr hwn sydd yn Pen 6,35
dywedyd wrthit, Dyro i mi ddiod, tydi a ofynasit iddo a 7,38
ef, ac efe a roddase i ti ddwfr bywiol.
11 o Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid oPen.3,4
oes gennit ti ddim i godi dwfr, a'r pydew sydd ddwfn: 1 Cor. 2,
o ba le gan hynny y mae gennit ti ddwfr bywiol? 14
12 p Ai mwy ydwyt ti na'n tad Iacob, yr hwn a rodd- pPen. 8,
odd i ni y pydew, ac efe ei hun a yfodd o honaw, a'i 2Bren.17
feibion, a'i anifeiliaid?
13 Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthi hi, Pwy Mat. 3,9
bynnac a yfo o'r dwfr hwn a sycheda trachefn:
14 q Ond pwy bynnac a yfo o'r dwfr yr hwn a rodd- qPen. 1,
wyf fi iddo, ni sycheda yn dragywydd, eithr y dwfr a 17, 38
yr hwn a roddwyfi iddo, a fydd ynddo yn ffynnon o Esa. 49,
ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol. 1Ioan5,9
15 r Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, moes i rIago1,3
mi y dwfr hwnnw, fel na sychedwyf, ac na ddelwyf Pen.6,
ymma i dynnu [dwfr].
16 Iesu a ddywedodd wrthi hi, Dos, galw dy ŵr, a
thyret ymma.
17 Y wraig a attebodd, ac a ddywedodd, Nid oes i
mi ŵr. Iesu a ddywedodd wrthi hi, Da y dywedaist,
Nid oes gennif ŵr;
18 s Canys bu i ti bump o wŷr, ac yn awr yr hwn sydd sHeb. 4,
eiddot ti, nid yw ŵr i ti: hyn a ddywedaist yn wir. Diar. 5,
19 t Y wraig a ddywedodd wrtho ef, Arglwydd, myfi 20
a welaf mai prophwyd ydwyt ti. tSalm39,
20 u Ein tadau a addolasant yn y mynydd hwn, ac Rhuf. 2,
meddwch chwithau Yn Ierusalem y mae'r lle y dyler u2Bren.
addoli. 17, 38
21 v Iesu a ddywedodd wrthi hi, O wraig, creda fi, Deut. 12,
fod yr awr yn dyfod, pryd nac addoloch y Tad yn y 1Bren.8,
mynydd hwn, nac yn Ierusalem. 29
22 w Chwychwi ydych yn addoli y peth ni wyddoch, vMat. 28
ninnau ydym yn addoli y peth a wyddom, canys iech- 1Tim.2,8
ydwriaeth sydd o'r Iddewon. w2Bren.
23 Ond dyfod y mae'r awr, ac yn awr y mae hi, pan Esa. 2, 3
addolo y gwir addolwyr y Tad mewn yspryd, a gwir- Rhuf.9,
ionedd: canys y Tad a fynn y cyfryw rai i'w addoli ef.
24 x Duw sydd yspryd, a'r sawl a'i haddolant ef, rhaid x1Cor.3,
yw iddynt ei addoli ef mewn yspryd, a gwirionedd. 17
25 Y wraig a ddywedodd wrtho ef, Mi a wn y daw
Messias yr hwn a elwir Crist, pan ddelo hwnnw efe a
fynega i ni bob peth.
26 Iesu a ddywedodd wrthi hi, Myfi ydwyf [hwnnw]
yr hwn sydd yn ymddiddan â thi.
27 Ac ar hynny ei ddiscyblion ef a ddaethant, ac a
ryfeddasant ei fod ef yn ymddiddan â gwraig: er hynny

ni ddywedodd neb, Beth a geisi, neu pa ham yr ydwyt
yn ymddiddan â hi?
y 2Bren. 2, 13 28 y Yna'r wraig a adawodd ei dwfr-lestr, ac a aeth
1 Ioan 1, 48 i'r ddinas, ac a ddywedodd wrth y dynion hynny,
29 Deuwch, gwelwch ddyn yr hwn a ddywedodd i
mi yr hyn oll a'r a wneuthym, onid efe yw Crist?
30 Yna hwynt a aethant o'r ddinas, ac a ddaethant
atto ef.
31 Yn y cyfamser, ei ddiscyblion ef a attolygasant
iddo ef, gan ddywedyd, Rabbi, bwytta.
32 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae gennifi fwyd
i'w fwytta, yr hwn ni wyddoch oddi wrtho.
z Mat. 16, 7 33 z Yna y discyblion a ddywedasant wrth ei gilydd,
A ddug neb fwyd iddo ef?
a Salm 40, 8 34 a Iesu a ddywedodd wrthynt, Fy mwyd i yw
Pen. 17, 4 gwneuthur o honofi ewyllys yr hwn a'm hanfonodd,
a gorphen ei waith ef.
b Lef. 23, 10 35 b Onid ydych chwi yn dywedyd, Y mae etto bed-
Mat. 9, 37 war mis,* ac [yna] y daw'r cynhaiaf? wele yr ydwyfi
* Sef, o'r pasg yn dywedyd wrthych, Derchefwch eich llygaid, a
gwelwch y gwledydd, canys gwynnion ydynt eusus
i'r cynhaiaf.
c Mat. 10, 10 36 c A'r hwn a fedo a dderbyn gyflog, ac a gasgl
Pen. 15, 16 ffrwyth i fywyd tragywyddol, fel y cydlawenycho yr
hwn a hauo, a'r hwn a fedo.
Heb. 11, 40 37 d Canys yn hyn y mae'r gair yn wir, mai un a haua,
d Rhuf. 15, 20 ac arall a feda.
38 e Myfi a'ch anfonais chwi i fedi yr hyn ni lafur-
e Mat. 22, 3 iasoch; eraill a lafuriasant, a chwithau a aethoch i
mewn i'w llafur hwynt.
f Mat. 10, 5 a 11, 12 39 f Yna llawer o'r Samariaid o'r ddinas honno a
gredasant ynddo ef, o herwydd gair y wraig yr hon
oedd yn testiolaethu, Efe a ddywedodd i mi'r hyn oll
a'r a wneuthym.
40 A phan ddaeth y Samariaid atto ef, hwynt a at-
tolygasant iddo ef aros gyd â hwy: ac efe a arhosodd
yno ddeu-ddydd.
41 A mwy o lawer a gredasant ynddo ef, o blegit ei
air ei hun.
g Rhuf. 10, 17 42 g A hwy a ddywedasant wrth y wraig, Nid ydym
Mat. 1, 21 ni weithian yn credu o blegit dy ymadrodd di, canys
nyni a'i clywsom ef ein hunain, ac a wyddom mai hwn
yn ddiau yw Crist Iachawdur y byd.
h Phil. 1, 5 43 h Felly ym mhen y ddeu-ddydd efe a aeth ym-
maith oddi yno, ac a aeth i Galilæa.
i Mat. 13, 54 44 i Canys Iesu ei hun a destiolaethase, na chae
prophwyd anrhydedd yn ei wlad ei hun.
45 A phan ddaeth efe i Galilæa, y Galilæaid y rhai
a welsent yr hyn oll a'r a wnaethe efe yn Ierusalem ar
yr wyl ai derbynniasant ef, canys hwynt hwy a ddaeth-
ent i'r wyl.
46 A'r Iesu a ddaeth drachefn i Cana Galilæa lle y
gwnaethe efe y dwfr yn win: ac yr oedd rhyw bendefig,
ac iddo fab yn glaf yn Capernaum.
j Salm 16, 1 47 j Pan glybu efe ddyfod Iesu o Iudæa yn Galilæa,
Gen. 22, 14 efe a aeth atto ef, ac a attolygodd iddo ddyfod i wared,
ac iachau ei fab ef: canys yr oedd efe ym mron marw.
k 1 Cor. 1, 22 48 k Yna Iesu a ddywedodd wrtho ef, Oni welwch
chwi arwyddion, a rhyfeddodau ni chredwch.
49 Y pendefig a ddywedodd wrtho ef, O Arglwydd,
tyret ti i wared cynn marw fy machgen.
l Act. 14. 9 50 l Iesu a ddywedodd wrtho ef, Dos ymmaith, y mae
Heb. 11, 17, 19 dy fab yn fyw, a'r dyn a gredodd y gair yr hwn a
ddywedase Iesu wrtho ef, ac efe a aeth ymmaith.
51 Ac yn awr pan oedd efe yn myned i wared, ei
weision ef a gyfarfuant ag ef, ac a fynegasant gan ddy-
wedyd, Y mae dy fachgen yn fyw.
52 m Yna efe a ofynnodd iddynt yr awr y gwellhaese m Ier. 3, 5
arno: a hwy a ddywedasant wrtho, Mai doe y seithfed Act. 17, 10, 11
awr y gadawodd y cryd ef.
53 n Yna y gwybu'r tad, mai yr awr honno oedd hi n Eph. 3, 20
yn yr hon y dywedase Iesu wrtho ef, Y mae dy fab di'n 2 Cron. 1, 7, 12
fyw, ac efe a gredodd a'i holl dŷ.
54 Dymma'r ail arwydd yr hwn a wnaeth Iesu tra-
chefn, wedi iddo ef ddyfod o Iudæa i Galilæa.

## PEN. V.

8. *Iesu yn iachau y dyn a fuase glaf amyn dwy flynedd deugain,* 10. *yr Iddewon yn ei gyhuddo ef,* 19. *Crist yn atteb trosto ei hun, ac yn eu hargyoeddi hwy,* 32, *yn dangos drwy destiolaeth ei Dad,* 33. *ac Ioan,* 36. *a'i weithredoedd ei hun,* 39. *a'r Scrythyr lân, pwy yw efe.*

WEDI o hyn yr oedd gwyl yr Iddewon, ac Iesu a o Heb. 10, 25
aeth i fynu i Ierusalem.
2 p Ac y mae yn Ierusalem wrth [borth] y defaid p Neh. 12, 39
lynn a elwir yn Hebræ-aec Bethesda, ac iddo bum
porth.
3 q Yn y rhai hyn yr oedd lliaws mawr o gleifion, o q Salm 11, 1
ddeillion, o gloffion, a gwywedigion yn gorwedd, [ac] Preg. 2, 25
yn disgwil am gynhyrfiad y dwfr
4 r Canys angel a ddescynne ar amserau i'r llyn, a'r r Iago 1, 17
dwfr a gynhyrfe: yna pwy bynnac yn gyntaf ar ol Mat. 25,
cynhyrfiad y dwfr a ddescynne i mewn, a iachaued o 13
ba ryw glefyd bynnac a fydde arno. 1 Cor. 9, 24
5 s Ac yr oedd yno ryw ddyn yr hwn a fuase yn glaf s Act. 3, 2
amyn dwy deugain o flynyddoedd. Luc 13, 11
6 Pan welodd yr Iesu ef yn gorwedd, a gwybod gael
o honaw efe lawer o amser bellach, efe a ddywedodd
wrtho, A fynni di dy wneuthur yn iach?
7 t A'r claf a attebodd iddo, Arglwydd, nid oes gen- t Deut. 32,
nif neb pan gynhyrfer y dwfr a'm bwrio fi i'r llynn: 36
onid tra fyddwyf yn dyfod, arall a ddescyn o'm blaen. Salm 72, 12
8 u Iesu a ddywedodd wrtho ef, Cyfot, cymmer dy u Eph. 5,
wely, a rhodia. 20
9 Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn iach, ac efe a Salm 29, 4
gododd ei wely, ac a rodiodd, a'r Sabboth oedd y
diwrnod hwnnw.
10 v Am hynny 'r Iddewon a ddywedasant wrth yr v Hos. 6,
hwn a wnaethyd yn iach, [Dydd] Sabboth yw hi, ni 6
ddylit ti godi dy wely. Ex. 20, 10
11 w Efe a attebodd iddynt, Yr hwn a'm hiachaodd w Act. 11, 4
fi, efe a ddywedodd wrthif, Cyfot dy wely, a rhodia. 1 Pedr 3,
12 Yna hwynt a ofynnasant iddo ef, Pwy ydyw 'r 15
dyn yr hwn a ddywedodd wrthit ti Cyfod dy wely a
rhodia?
13 x A'r hwn a iachausid ni wydde pwy oedd efe: x Mat. 10,
canys yr Iesu a giliase o'r dyrfa yr hon oedd yn y fann 17
[honno].
14 y Wedi hynny Iesu a'i cafodd ef yn y Deml, ac a y Ezra 9, 13, 14
ddywedodd wrtho, Wele ti a iachauwyd: na phecha 1 Pedr 4,
mwyach rhac digwyddo peth a fyddo gwaeth i ti. 3
15 Y dyn a aeth ymmaith, ac a fynegodd i'r Iddew- Lef. 26, 21
on, mai Iesu oedd efe yr hwn a'i gwnaethe ef yn Mat. 12, 45
iach. 2 Pedr 2, 20
16 z Am hynny 'r Iddewon a erlidiasant Iesu, ac a z Salm 51,
geisiasant ei ladd ef, o blegit iddo ef wneuthur hyn 15
ar y Sabboth. Num 15, 32
17 Ond Iesu a'i hattebodd hwynt, Y mae fy Nhad
yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finne yn
gweithio. a 2 Tim. 3, 13
18 a O herwydd hynny 'r Iddewon a geisiasant yn Phil. 2, 6

fwy ei ladd ef, nid yn unic o blegit iddo ef dorri 'r
Sabboth, ond am iddo ef ddywedyd mai Duw oedd ei
Dad, gan ei wneuthur ei hun yn gystal â Duw.
bPen.10, 19 b Yna Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
30 a 6. 37 Yn wir, yn wir meddaf i chwi, ni ddichon y Mab
Pen. 1,3 wneuthur dim o honaw ei hunain, eithr yr hyn a welo
efe y Tad yn ei wneuthur, canys beth bynnac y mae
efe yn ei wneuthur hynny y mae y Mab hefyd yn ei
wneuthur.
20 c Canys y Tad sydd yn caru y Mab, ac yn dangos
cDiar.8, 30 iddo 'r hyn oll y mae efe yn ei wneuthur, ac efe a
Pen 1,18 Col. 2. 9 ddengis iddo ef weithredoedd mwy na'r rhai hyn, fel
Mat. 11, 27 y rhyfeddoch chwi.
21 O blegit megis y mae y Tad yn cyfodi y rhai
meirw, ac yn bywhau: felly y mae 'r Mab hefyd yn
bywhau y neb a fynno.
22 Canys y Tad nid yw yn barnu neb: eithr efe a
roddes bob barn i'r Mab.
dPen.12, 23 d Fel yr anrhydeddo pawb y Mab, fel y maent yn
26 Esa. 9,7 anrhydeddu y Tad, yr hwn nid yw yn anrhydeddu y
1Tim. 3, Mab, nid yw yn anrhydeddu y Tad, yr hwn a'i han-
16 fonodd ef.
24 Yn wir, yn wir meddaf i chwi, y neb sydd yn
gwrando fyng-air, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd
i a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn, eithr
efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.
eEph 2 1 25 e Yn wir, yn wir meddaf i chwi, yr awr a ddaw ac
Rhuf.10, 17 a 6, 4 y mae hi eusus pan glywo y meirw lef Mab Duw, a'r
rhai a glywant a fyddant byw.
f1Thes.1 10 26 f Canys megis y mae gan y Tad fywyd ynddo ei
1Tim. 6, hunan, felly y rhoddes efe i'r Mab hefyd, fod ganddo
16 fywyd ynddo ei hun.
Pen. 1, 4 gMat.28 27 g Ac efe a roddes iddo ef allu i wneuthur barn, o
18 herwydd ei fod efe yn Fab dyn.
Phil.2 8, 9 28 h Na ryfeddwch er hyn, canys yr awr a ddaw yn
hDat.20, yr hon y caiff pawb oll a'r a ydynt yn y beddau glyw-
13 ed ei lef ef.
iMat.25, 29 i A'r rhai a wnaethant ddaioni a ddeuant allan i
46 adgyfodiad y bywyd: ond y rhai a wnaethant ddryg-
ioni i adgyfodiad barn.
jRhuf. 2, 30 j Ni allaf fi wneuthur dim o honof fy hunan, fel
5 Esa. 11 3 y clywyf y barnaf, a'm barn sydd gyfiawn: canys nid
ydwyf yn ceisio fy ewyllys fy hunan, onid ewyllys y
Tad yr hwn a'm hanfonodd i.
31 Os myfi a destiolaethwn am danaf fy hunan, ni
bydde fy nhestiolaeth i yn wir.
32 Arall sydd yn testiolaethu o honofi, ac mi a wn
mai gwir yw y destiolaeth yr hon y mae efe yn ei dest-
iolaethu o honofi.
33 Chwy chwi a anfonasoch at Ioan, ac efe a destiol-
aethodd o'r gwirionedd.
34 Ond nid ydwyfi yn derbyn testiolaeth oddi wrth
ddyn: eithr dywedyd yr ydwyf y pethau hyn fel i'ch
gwaredid chwi.
kMat.11 35 k Efe oedd ganwyll yn llosgi, ac yn goleuo: ac
10 Gal. 4.15 ennyd awr y mynnech chwi lawenychu yn ei oleuni ef.
Mat. 13, 20 36 l Ond y mae gennifi destiolaeth fwy nag Ioan:
lMat.11, canys y gweithredoedd y rhai a roddes y Tad i mi i'w
5, 6 gorphen, y gweithredoedd hynny y rhai yr ydwyfi yn
eu gwneuthur sy 'n testiolaethu o honofi, mai 'r Tad
a'm hanfonodd i.
mEsa. 42 1, 3 37 m A'r Tad yr hwn a'm hanfonodd i, efe a destiol-
Heb. 1,3 aethodd am danafi: ond ni wrandawsoch chwi ar ei
lais ef un amser, ac ni welsoch ei wedd ef.
nIago 1, 21 38 n Ac nid oes gennych chwi mo'i air ef yn aros
ynoch: canys nid ydych chwi yn credu yn yr hwn a
anfonodd efe.
39 o Chwiliwch yr scrythyrau, canys yr ydych chwi oEsa. 8, 20
yn tybied gael ynddynt fywyd tragywyddol, a hwynt Act.3,22
hwy ydynt yn testiolaethu o honofi.
40 Ond ni fynnwch chwi ddyfod attafi, fel y caffech
chwi fywyd.
41 Nid ydwyfi yn derbyn gogoniant oddi wrth ddyn-
ion.
42 p Ond myfi a'ch adwen chwi nad oes gariad Duw p1Ioan3,
ynoch. 5
43 q Myfi a ddauthum yn enw fy nhad, ac ni dder- qMat. 5,
bynniasoch chwi mo honof: os daw arall yn ei enw ei 7 Heb 5.4,
hun, ef a dderbyniwch chwi. 5
44 r Pa fodd y gellwch chwi gredu, y rhai ydych yn Act. 5,36 2Thes. 2,
derbyn gogoniant gan eu gilydd, ac heb geisio y gog- 10
oniant yr hwn sydd oddi wrth Dduw yn unic? rPen. 12, 43
45 s Na thybiwch y cyhuddafi chwi wrth y Tad: y Rhuf. 2,
mae a'ch cyhudda chwi, [sef] Moses: yn yr hwn yr 29 sRhuf. 2,
ydych yn gobeithio. 15
46 Canys pe chredasech chwi i Moses, chwi a gred-
asech i minne: o blegit am danafi yr scrifennodd efe.
47 Ond os chwi ni chredwch i'w scrifennadau ef, pa
fodd y credwch i'm geiriau maufi?

## PEN. VI.

10. *Iesu yn porthi pum mil o ddynion â phum torth, ac â dau byscodyn.* 15. *Efe yn myned ymmaith, rhag iddynt ei wneuthur ef yn frenin.* 26. *Efe yn argyoeddi cnawdol wrandawyr ei air ef.* 41. *Bod y rhai cnawdol yn ymrwystro wrtho ef.* 63. *Nad yw y cnawd yn llessau dim.*

WEDI t y pethau hyn yr aeth Iesu tros fôr Galilæa tMat. 14,
[hwnnw yw] Tiberias. 13 Marc 6,
2 u A thyrfa fawr a'i canlynodd ef, oblegit hwynt a 32
welsent ei arwyddion y rhai a wnaethe efe ar y cleifion. uMat. 5,
3 Yna Iesu a aeth i fynu i'r mynydd, ac efe a eistedd- 33
odd yno gyd â'i ddiscyblion.
4 A'r * Pasc, gwyl yr Iddewon, oedd yn agos. * Sef, y
5 Yna Iesu a dderchafodd [ei] lygaid, ac a ganfu fod trydydd
tyrfa fawr yn dyfod atto ef, efe a ddywedodd wrth pasg er
Philip, O ba le y prynwn ni fara, fel y caffo y rhai hyn pan te-
fwytta? dydd- iwyd ef, Pen. 2,13
6 v (Ac efe a ddywedase hyn i'w brofi ef, canys efe a a 5. 1
wydded beth a wnai efe) vGen. 22
7 Philip ai hattebodd ef, Gwerth dau cant ceiniog o 1 Deut. 8,
fara nid yw ddigon iddynt hwy, fel y gallo pob un o 15
honynt gymmeryd ychydig.
8 Yna un o'i ddiscyblion a ddywedodd wrtho ef,
Andreas brawd Simon Petr,
9 Y mae ymma ryw fachgennyn, yr hwn sydd gan-
ddo bum torth o haidd a dau byscodyn: ond beth yw
hyn rhwng cynnifer?
10 w A'r Iesu a ddywedodd, Perwch i'r dynion eistedd wMat. 6,
i lawr: (ac yr oedd glas-wellt lawer yn y fann honno) 39
yna 'r gwyr a eisteddasant i lawr yng-hylch pum mil
o nifer.
11 x Yna 'r Iesu a gymmerth y bara ac a ddiolchodd, x1Cor.10
[ac a'i rhannodd i'r discyblion, a'r discyblion i'r rhai 31
oeddynt yn eistedd: felly hefyd o'r pysgod cymmaint Salm104,
ac a fynnent. 28
12 Ac wedi eu digoni hwynt, efe a ddywedodd wrth Mat. 16, 8
ei ddiscyblion, Cesclwch y briw-fwyd yr hwn sydd Diar. 18, 25
yng-weddill, fel na choller dim. y1Bren. 17, 15, 16
13 y Yna hwynt a'i casclasant, ac a lawnasant ddeu- 2Pen. 19, 14, 15
ddec basced o'r briw-fwyd o'r pum torth haidd, y rhai Mat. 21,9
a weddillasid gan y sawl a fwytawsent. Act 14,13

14 Yna y dynion pan welsant hwy yr arwydd a
wnaethe 'r Iesu a ddywedasant, Diau mai hwn yw 'r
prophwyd yr hwn oedd ar ddyfod i'r byd.
15 z Pan wybu 'r Iesu eu bod hwy ar fedr dyfod, a'i
gymmeryd ef, fel y gwnaent ef yn frenin, efe a giliodd
eil-waith i'r mynydd ei hunan.
aMat.14, 16 a A phan hwyrhäodd hi, ei ddiscyblion ef a aeth-
23, 24 Marc 6, ant i wared at y môr,
46 17 Ac a aethant i fynu i long, [ac] a ddaethant tros
Heb. 5.7 Mat. 26, y môr i Capernaum: ac yn awr yr oedd hi wedi tyw-
39 yllu, ac ni ddaethe'r Iesu attynt hwy.
18 A'r môr gan wynt mawr yn chwythu a ymgod-
odd.
19 Wedi iddynt rwyforio yng hylch pump ar hugain,
* Y mae ystad neu ddec ar hugain o *stadau, hwynt a welsant yr Iesu
yn 6.5 yn rhodio ar y môr, ac yn nesau at y llong, yna hwynt
troed- a ofnasant.
fedd. Luc24,15 20 Ond efe a ddywedodd wrthynt, Myfi ydwyf, nac
ofnwch.
21 Yna hwynt a fynnent ei dderbyn ef i'r llong, ac
yn ebrwydd yr oedd y llong wrth y tir i'r hwn yr
oeddynt yn myned.
22 Trannoeth y dyrfa yr hon oedd yn sefyll ar y tu
hwnt i'r môr a welodd nad oedd yno long, onid yr un
honno i'r hon yr aethe ei ddiscyblion ef, ac nad aethe
yr Iesu gyd â'i ddiscyblion i'r llong, eithr darfod iw
ddiscyblion ef fyned eu hunain.
23 Eithr llongau eraill a ddaethent trosodd o Tiber-
ias yn gyfagos i'r fann lle y bwytawsent hwy fara,
wedi i'r Arglwydd roddi diolch.
24 A phan welodd y dyrfa nad oedd Iesu yno, nai
ddiscyblion, hwy a gymmerasant longau, ac a ddaeth-
ant i Capernaum, dann geisio'r Iesu.
25 Pan gawsant hwy ef ar tu hwnt i'r mor, hwynt
a ddywedasant wrtho ef, Rabbi, pa bryd y daethost
ti yma?
bSalm78 34, 37 26 b Iesu a'u hattebodd hwynt, ac a ddywedodd, Yn
Esa. 58,1 wir, yn wir meddaf i chwi, yr ydych chwi yn fyng-
2, 5 heisio i, nid o herwydd i chwi weled y gwrthiau,
Rhuf. 16, 18 eithr bwyta o honoch o'r bara, a'ch digoni.
Phil.2,21 27 c Na lafuriwch am y bwyd 'r hwn a dderfydd,
Mat.8 19 20 eithr am y bwyd yr hwn a bery i fywyd tragywyddol,
cCol. 3,2 yr hwn a ddyry Mab y dyn i chwi, canys hwn a sel-
Preg.1 2 iodd Duw Tad.
Mat. 6 19 20 28 d Yna y dywedasant wrtho ef, Pa beth a wnawn
Preg. 5 11 ni, fel y gallom wneuthur gweithredoedd Duw?
Pen.4.14 29 Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Dym-
Esa. 55,1 ma waith Duw, sef credu o honoch chwi yn yr hwn
Rhuf. 6, 23 a anfonodd efe.
1Cor. 15, 10 30 e Am hynny hwynt a ddywedasant wrtho ef, Pa
Mat.3.17 arwydd yr ydwyt ti yn ei wneuthur, fel y gwelom, ac
Act. 10. 38 y credom i ti? pa beth yr wyt ti yn ei weithredu?
Col. 2. 9 31 Ein tadau ni a fwytawsant Manna yn yr anialwch,
dDeut.5 27 fel y mae yn scrifennedic: Efe a roddodd iddynt fara
Mica6.7, 8 o'r nefoedd i fwytta.
32 Yna Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir
eMat.16, 1 meddaf i chwi, nid Moses a roddodd i chwi fara o'r
1 Cor. 1, 22 nef, eithr fy Nhad sydd yn rhoddi i chwi y gwir fara
fPen. 10, 9 o'r nef.
Phil. 2.6 33 f Canys bara Duw ydyw, yr hwn sydd yn dyfod i
Pen 14 6 wared o'r nef, ac yn rhoddi bywyd i'r byd.

34 g Yna hwynt a ddywedasant wrtho ef, Arglwydd,
dyro di i ni y bara hwnnw yn oestadol. hPen. 1,
35 h A'r Iesu a ddywedodd wrthynt hwy, Myfi ydwyf 12 a 5,40
fara y bywyd, yr hwn sydd yn dyfod attafi ni newyna,
a'r hwn sydd yn credu ynofi ni sycheda byth.
36 i Ond mi a ddywedais wrthych, i chwi fyng-weled iPen. 12, 37
i hefyd, ac na chredasoch. a 8.54.55
37 j Yr hyn oll y mae 'r Tad yn ei roddi i mi, a ddaw jPen. 17,
attafi, a'r hwn a ddelo attafi ni fwriaf ymmaith. 6 a 10, 28
38 k Canys myfi a ddescynnais o'r nef, nid i wneuth- kPhil. 2, 7
ur fy ewyllys fy hun, onid ewyllys yr hwn am han- Salm 40,
fonodd. 8
39 l Dymma ewyllys y Tad yr hwn a'm hanfonodd, l Pen. 5, 29
sef na chollwn ddim o'r hyn oll a roddodd efe i mi, 2 Cor. 5
eithr ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf. 10
40 Ac dymma ewyllys yr hwn a'm hanfonodd fi, sef
cael o bawb a'r y sydd yn gweled y Mab, ac yn credu
ynddo ef fywyd tragywyddol: ac myfi ai hadgyfodaf
ef yn y dydd diweddaf.
41 Yr Iddewon a furmuriasant yna yn ei erbyn ef, o
herwydd iddo ef ddywedyd, Myfi ydwyf y bara yr hwn
a ddaeth i wared o'r nef.
42 Ac hwy a ddywedasant, Onid hwn yw'r Iesu mab
Ioseph, tad a mam yr hwn a adwaenom ni? pa fodd
gan hynny y mae hwn yn dywedyd, O'r nef y descyn-
nais?
43 Yna'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
Na furmuriwch wrth eich gilydd.
44 m Ni ddichon neb ddyfod attafi, oddi eithr i'r Tad m1Cor.4
yr hwn a'm hanfonodd ei lusco ef: a minne a'i had- 7 Mat. 11
gyfodaf ef y dydd diweddaf. 27
45 n Y mae yn scrifennedic yn y prophwydi, A phawb nEsa.54,
fyddant wedi eu dyscu gan Dduw: pawb gan hynny 13 Ier.31 33
a'r a glywodd, ac a addysced gan y Tad sydd yn dyfod 34
attafi,
46 o Nid o herwydd i neb weled y Tad, eithr yr hwn o1Tim.6
sydd o Dduw: efe a welodd y Tad. 16
47 Yn wir, yn wir meddaf i chwi, Yr hwn sydd yn Pen.1 18
credu ynofi sydd ganddo fywyd tragywyddol.
48 p Myfi ydwyf bara y bywyd. pDiar. 9
49 q Eich tadau chwi a fwytawsant y Manna yn yr 5 1Cor. 11
anialwch, ac a fuant feirw. 24
50 Hwn yw 'r bara yr hwn sydd yn dyfod i wared o'r q1Cor.10
nef: os bwytu neb o honaw, ni bydd efe farw. 3 Heb.3 16
51 r Myfi ydwyf y bara bywiol yr hwn a ddaeth i r Pen. 4
wared o'r nef: os bwytu neb o'r bara hwn, efe fydd 11 1Cor. 10
byw yn dragywydd: a'r bara yr hwn a roddafi yw, 21
fyng-hnawd i yr hwn a roddaf tros fywyd y byd. Rhuf. 4 24
52 s Yna 'r Iddewon a ymrysonasant bob un ai gilydd Heb.9 14 Esa.53 5
gan ddywedyd, Pa fodd y dichon hwn roddi i ni [ei] s1Cor. 2
gnawd iw fwyta? 14 Mat 16.17
53 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir,
meddaf i chwi, oni fwytewch gnawd Mab y dyn, ac [oni]
yfwch ei waed ef, ni chewch fywyd ynoch.
54 Yr hwn sydd yn bwyta fyng-hnawd, ac yn yfed
fyng-waed a gaiff fywyd tragywyddol: ac myfi a'i had-
gyfodaf ef y dydd diweddaf.
55 Canys fyng-hnawd i sydd fwyd yn ddiau, a'm
gwaed i sydd ddiod yn wir.
56 t Yr hwn sydd yn bwytta fyng-hnawd i, ac yn yfed t Rhuf 8
fyng-waed, sydd yn aros ynofi, a minne ynddo yntef. 35 Eph 3 17
57 u Fel yr anfonodd y Tad byw fi, felly'r ydwyf inne u 1 Thes
yn byw drwy'r Tad: a'r hwn a'm bwytu fi, yntef fydd 1 10
byw trwofi:
58 Dymma 'r bara 'r hwn sydd yn dyfod i wared o'r

gMat.13, 20 Pen. 4,13

PEN. VI, ADN. 15] "Wneuthur yn frenin." Hwy a'i mynent yn frenin amserol, i warchod eu meddiannau; ond nis mynent ef yn Frenin tragywyddol, i achub eu heneidiau!
Caru'r byd, gwrthod bywyd! Plant dynion y'nt yn ynfyd!

nefoedd : nid megis y bwytaodd eich tadau chwi Man-
na, ac y buant feirw, y neb a fwyttu y bara hwn a
fydd byw yn dragywydd.
vAct. 13, 21 59 v Hyn a ddywedodd efe yn y synagog wrth ddyscu
Pen. 18, 20 yn Capernaum.
wLuc 10, 1 60 w Yna llawer o'i ddiscyblion ef y rhai oeddynt yn
clywed a ddywedasant, Caled yw'r ymadrodd hyn,
2Tim.4,3 Heb.4,12 pwy a ddichon wrando arno ef?
61 Pan wybu yr Iesu ynddo ei hunan i'w ddiscybl-
ion furmurio o herwydd y peth hyn, efe a ddywedodd
wrthynt, A ydyw hyn yn eich rhwystro chwi?
62 Beth os gwelwch Fab y dyn yn derchafu lle yr
oedd efe o'r blaen ?
63 Yr Ysbryd sydd yn bywhau, y cnawd nid yw yn
llessau dim, y geiriau y rhai 'r ydwyfi yn eu llefaru
wrthych ydynt yspryd, a bywyd.
64 Ond y mae rhai o honoch y rhai nid ydynt yn
credu, canys Iesu a wydded o'r dechreuad, pwy oedd
y rhai nid oeddynt yn credu, a phwy [oedd] yr hwn
a'i bradyche ef.
xEph.2,8 Phil. 1, 29 65 x Ac efe a ddywedodd, Am hyny y dywedais
wrthych, Na ddichon neb ddyfod attafi, oddi eithr
rhoddi iddo ef [ hynny] oddi wrth fy Nhad
yGal 3,3 1 Ioan 2, 19 66 y Wedi hyn llawer o'i ddiscyblion ef a aethant yn
eu hol, ac ni rodiasant mwyach gyd ag ef.
zPen. 8, 25 67 z Am hynny 'r Iesu a ddywedodd wrth y deudec,
Esa 1, 2 A fynnwch chwithau hefyd fyned ymaith?
aSalm73 25 68 a Yna Simon Petr a'i hattebodd ef, O Arglwydd
Phil. 1,7 at bwy 'r awn ni? gennit ti y mae geiriau bywyd tra-
gywyddol.
69 Ac yr ydym ni yn credu, ac yn gwybod mai tydi
ydwyt Crist Mab y Duw byw.
bPen. 8, 44 70 b Iesu a'u hattebodd hwynt, Onid chwy-chwi y
Mat.7,22 deuddec a ddewisais, ac o honoch chwi mae un yn ddi-
afol?
71 Ac efe a ddywedase am Iudas Iscariot [mab]
Simon: canys hwn oedd ar fedr ei fradychu ef, er ei
fod efe yn un o'r deuddec.

## PEN. VII.

*6. Iesu yn argyoeddu ymgymmeriad ei geraint. 12. Amryw dyb am Grist ym mhlith y bobl. 17. Efe yn dangos pa ddelw 'r adweinir y gwirionedd. 20. Y camwedd a wnaent ag ef. 47. Y Phariseaid yn ceryddu y swyddogion am na ddalient ef, 52. Ac yn rhoddi senn i Nicodemus am ddadleu gyd ag ef.*

cMat.10, 16 AC c ar ol y pethau hyn, Iesu a rodiodd i Galilæa,
Pen. 5,16 canys ni fynne orymdaith yn Iudæa: oblegid yr
Iddewon a geisient ei ladd ef.
dEx. 23, 16 2 d A gŵyl yr Iddewon [sef] gŵyl y pebyll oedd yn
Deut. 16, 13 agos.
3 Am hynny ei frodyr ef a ddywedasant wrtho, Cer-
dda ymmaith oddi ymma, a dos di i Iudæa, fel y gwelo
dy ddiscyblion dy weithredoedd di y rhai yr ydwyt yn
eu gwneuthur.
4 Gan nad oes neb a wna ddim yn y dirgel, ac yntef
yn ceisio bod yn enwoc: od wyt ti yn gwneuthur y
pethau hyn eglura dy hun i'r byd.
e Act. 1, 14 5 e Canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo.
Mat. 10, 36 6 f Yna 'r Iesu a ddywedodd wrthynt hwy, Ni ddaeth
fPreg. 3, 1 fy amser i etto: ond eich amser chwi sydd yn wastat yn
barod.
Salm73,3 7 g Ni ddichon y byd eich casâu chwi, ond efe a'm
gPen 15, 19 casâ i: o herwydd fy mod i yn testiolaethu am dano,
Mat. 21, 44, 45 am fod ei weithredoedd ef yn ddrwg.
8 Ewch chwi i fynu i'r ŵyl hon, nid afi i fynu etto i'r
ŵyl hon: oblegit ni chyflawnwyd fy amser i etto.
9 h Pan ddywedodd efe y pethau hyn wrthynt hwy, h2Cor.1, 17
efe a arhosodd yn Galilæa.
10 i A chyn-gynted, ac yr aeth ei frodyr ef i fynu, i Ex. 23, 17
yna yntef a aeth i fynu i'r ŵyl, nid yn oleu, onid megis
yn ddirgel.
11 Yna 'r Iddewon a'i ceisiasant ef yn yr ŵyl, ac a
ddywedasant, Pa le y mae efe?
12 j A murmur mawr oedd am dano ef ym mysc y jMat.16, 14
dyrfa: rhai a ddywedant mai gwr da oedd efe, eraill a
ddywedant, nadê, eithr y mae efe yn twyllo 'r bobl.
13 k Er hynny ni lefarodd neb yn eglur am dano ef kPen. 9,
rhag ofn yr Iddewon. 22 a12,42
14 l Ac yn awr pan ddarfu hanner yr ŵyl, Iesu a aeth lAct. 20,
i fynu i'r Deml, ac a ddyscodd [y bobl.] 22, 24
15 m A'r Iddewon a ryfeddasant gan ddywedyd, Pa mMat.13
fodd y gŵyr hwn yr Scrythurau, [ac yntef er ioed] heb 54
ddyscu?
16 n Gan hynny 'r Iesu a'u hattebodd hwynt, ac a nMat.17,
ddywedodd, Fy nysceidiaeth nid yw eiddo maufi, 4
eithr eiddo yr hwn a'm hanfonodd fi.
17 o Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a oHos.6,3
gaiff wybod am y ddysceidiaeth, pa un ai o Dduw y Mat. 13,
mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru. 11
18 Y mae yr hwn sydd yn llefaru o honaw ei hun yn
ceisio ei ogoniant ei hun, ond yr hwn sydd yn ceisio
gogoniant yr hwn a'i hanfonodd, hwnnw sydd gywir,
ac annghyfiawnder nid oes ynddo ef.
19 p Oni roddes Moses i chwi gyfraith, ac nid oes pMat.15,
neb o honoch yn gwneuthur y gyfraith, a pha ham yr 6
ydych yn ceisio fy lladd i?
20 q Y bobl a attebodd, ac a ddywedodd, Y mae gen- qAct.26,
nit ti gythrael: pwy sydd yn ceisio dy ladd di? 24
21 Yr Iesu a atebodd, ac a ddywedodd wrthynt
hwythau, Un weithred a wnaethum i, ac y mae yn
rhyfedd genych oll.
22 r Moses am hyny a roddes i chwi enwaediad, rLef.12,3
(nid o herwydd ei fod o Moses eithr o'r tadau,) ac yr Gen.7,10
ydych chwi yn enwaedu ar ddyn ar y Sabboth.
23 Os yw dyn yn derbyn enwaediad ar y Sabboth
heb dorri y Sabboth, a ydych chwi yn llidiog wrthifi
am wneuthur dyn ei gyd yn iach ar y Sabboth?
24 Na fernwch wrth y golwg, eithr bernwch farn
gyfiawn.
25 Yna y dywedodd rhai o'r Ierusalomitaniaid:
onid hwn yw yr hwn y maent hwy yn ceisio ei ladd ?
26 s Ac wele y mae yn llefaru ar gyhoedd, ac nid sAct.4,15
ydynt yn dywedyd dim wrtho ef: a wybu y pen-
naethiaid mewn gwirionedd mai hwn sydd Grist yn
wir?
27 t Eithr nyni a wyddom o ba le y mae hwn, a phan t Pen. 6,
ddel Crist ni wyr neb o ba le y mae. 42 Mica 5,1
28 u Am hynny yr Iesu yn athrawiaethu yn y deml uPen.5,2
a lefodd, ac a ddywedodd, Chwi a'm hadwaenoch i, ac
a wyddoch o ba le yr ydwyfi, ac ni ddaethym i o
honof fy hun, eithr y mae yn gywir yr hwn am han-
fonodd i, yr hwn nid adwaenoch chwi.
29 Ond myfi a'i hadwen: oblegit o honaw ef yr
ydwyfi, ac efe am hanfonodd i.
30. Am hynny hwynt hwy a geisiasant ei ddal, ond
ni osododd neb law arno ef, am na ddaethe ei awr ef
etto.
31 A llawer o'r bobl a gedasant ynddo ef, ac a ddy-
wedasant: pan ddelo Christ a wna efe fwy o arwydd-
ion na'r rhai hyn y rhai a wnaeth hwn?

32 Y Pharisæaid a glywsant y bobl yn grwgnach
hyn am dano ef, a'r Pharisæaid a'r arch-offeiriaid a an-
fonasant swyddogion iw ddal ef.
y Act. 20, 23 33 [y] Am hynny y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy,
yr wyfi ychydig o amser gyd â chwi, yna yr wyf yn
myned at yr hwn a'm hanfonodd.
w Diar. 1 24 34 [w] Chwi a'm ceisiwch, ac ni'm cewch, ac lle yr yd-
Pen. 8, 21 wyfi ni ellwch chwi ddyfod.
x Iago 1, 1 35 [x] Am hynny y dywedodd yr Iddewon yn eu mysc
Act. 22, 21 eu hun: i ba le yr aiff hwn fel na chaffom ni ef? a
aiff efe at y rhai a wascarwyd ymmysc y Groegiaid,
ac a ddysc efe y Groegiaid?
26 Pa ymadrodd yw hwn a ddywedodd efe? chwi
a'm ceisiwch, ac ni'm cewch, ac lle yr ydwyfi ni ell-
wch chwi ddyfod.
y Lef. 23, 34 37 [y] Ac ar y dydd mawr diweddaf o'r wyl yr Iesu a
Dat. 22, 17 safodd, ac a lefodd gan ddywedyd, Od oes ar neb
Esa. 55, 1 syched, deued attafi, ac yfed.
Pen. 4, 11 38. [z] Yr hwn sydd yn credu ynofi (megis y dywedodd
Can 5 1 yr scrythyr) afonydd o ddwfr bywiol a ddilifant o'i
z Esa. 44, 3 groth ef.
Zec. 14, 8, 39 [a] (A hyn a ddywedodd efe am yr Yspryd, yr hwn
a Ioel 2, 28 a gae y rhai a gredent ynddo ef ei dderbyn: canys
Act. 2, 3 eto ni buase yr Yspryd glân, am na ogoneddasid yr
Iesu etto)
b Deut. 18, 15, 18 40 [b] Am hynny llawer o'r bobl wedi clywed yr ym-
madrodd [hwn] a ddywedasant, Yn wir hwn yw'r
prophwyd.
41 Eraill a ddywedasant, hwn yw Crist, ac eraill a
ddywedasant, a'i o'r Galilæa y daw Crist?
c Mica 5, 1 42 [c] Ond ydyw yr scrythyr yn dywedyd, mai o hâd
Dafydd, ac o dref Bethlehem lle y bu Dafydd, y daw
Crist?
43 Felly yr aeth ymbleidio ym mysc y bobl o'i
blegit ef.
d Rhut. 8, 31 44 [d] A rhai o honynt a fynnasant ei ddal ef, ond ni
Salm 46, 1 osododd neb ddwylo arno ef.
a 105, 14 45 [e] Felly y daeth y swyddogion at yr archoffeiriaid
e 2 Sam 13 14 a'r Pharisæaid, ac hwynt hwy a ddywedasant wrthynt
hwy, Pa ham na ddugasoch chwi ef?
f Mat. 7, 28 46 [f] A'r swyddogion a attebasant, ni lefarodd dyn er
Luc 4, 28 ioed fel y dyn hwn.
47 Yna y Pharisæaid a attebasant, a hudwyd chwithau?
g Mat. 11 25 48 [g] A gredodd neb o'r pennaethiaid ynddo ef, neu
Luc 23, 13 25 o'r Pharisæaid?
49 Eithr y gwerin hyn y rhai ni wyddant y gyfraith
sydd felldigedig.
50 Nicodemus a ddywedodd wrthynt, (yr hwn a
ddaethe at yr Iesu [liw] nos, ac oedd un o honynt hwy)
h Lef. 19, 15 51 [h] A ydyw ein cyfraith ni yn barnu neb oddieithr
Deut. 17, 4 clywed ganddo ef yn gyntaf, a gwybod beth a wnaeth
efe?
i Esa. 9, 1 52 [i] Hwythau a attebasant, ac a ddywedasant wrtho
Mat. 4, 15 ef, A ydwyt tithe o Galilæa? chwilia a gwel na chod-
odd prophwyd o Galilæa.
53 Ac fe aeth pob un iw dŷ.

## PEN. VIII.

*Y wraig a ddaliwyd mewn godineb yn cael barn drugarog gan Grist, yr hwn yw goleuad y byd. 14 O ba le yr oedd Crist, i ba le yr ae efe, a pha destiolaeth a barn oedd iddo ef. 32 Pwy sydd rydd, a phwy sydd gaeth, a pha beth a ddigwydd i bob un or ddau. 26 puredd a gwybodaeth Crist. 59 Yr hwn hefyd sydd yn cilio rhag niwed corphorol.*

A'R Iesu a aeth i fynydd yr Oliwydd:
2 [j] Ac a ddaeth trachefn y boreu i'r deml, a'r j Eph. 5, 16
holl bobl a ddaethant atto ef: yntef gan eistedd a'u Act. 6, 4
dyscodd hwynt.
3 [k] Yna'r scrifenyddion a'r Pharisæaid a ddugasant k Mat. 23 2, 3
atto ef wraig yr hon a ddaliasid mewn godineb: ac
wedi ei gosod hi yn y canol,
4 [l] Hwynt hwy a ddywedasant wrtho ef, O Athro, y l 1 Tim. 5, 24
wraig hon a ddaliwyd ar y weithred yn godineba: 2 Sam. 12, 12
5 [m] A Moses yn y gyfraith a orchymynnodd i ni lab-
yddio y cyfryw: beth gan hynny yr wyt ti yn ei m Lef. 20 10
ddywedyd? Salm. 64, 6
6 A hyn a ddywedasant hwy gan ei demptio ef, fel y Act. 6, 13
caent hwy [fodd] iw gyhuddo ef.
7 [n] Ond fel yr oeddynt hwy yn parhau yngofyn iddo n Rhuf. 2, 1, 3
ef, efe gan yminiawni a ddywedodd wrthynt hwy, Yr Mat. 7, 2, 3
hwn sydd yn ddibechod o honoch chwi tafled y gareg
atti hi yn gyntaf. Deut. 17, 5
8 Ac efe a ymgrymmodd eilwaith, ac a scrifennodd
ar y ddaiar.
9 [o] Hwythau pan glywsant hyn, wedi hefyd eu hargy- o Rhuf. 2, 16
oeddu gan eu cydwybod, a aethant allan y naill ar ol Mat. 27, 3
y llall, gan ddechreu o'r hynaf hyd yr olaf: a gadaw- 4
yd yr Iesu yn unic a'r wraig yn sefyll yn y canol. Iob 15, 21 Diar. 28, 1
10 A phan yminiawnodd yr Iesu, ac na welodd efe
neb, ond y wraig, efe a ddywedodd wrthi hi, Mae y Iob 5, 13
rhai a'th gyhuddasant di? oni chondemnodd neb di? Salm 9, 6
11 [p] Hithe a ddywedodd, Neb O Arglwydd: a dyw- p Mat. 9, 13
edodd yr Iesu wrthi hi, Nid wyf finne yn dy gondem- Luc 12, 13
no di, dos, ac na phecha mwyach. Pen. 5, 14
12 [q] Yna y llefarodd yr Iesu wrthynt trachefn gan Tit. 2, 12
ddywedyd, Goleuni y byd ydwyf fi, yr hwn, a'm di- q Pen. 1, 4
lyno i, ni rodia mewn tywyllwch, eithr efe a gaiff oleuni a 12, 35
y bywyd.
13 [r] Am hynny y Phariseaid a ddywedasant wrtho r Mat. 3, 17
ef, Tydi ydwyt yn testiolaethu am danat dy hun, nid Pen. 5, 31
gwir yw dy destiolaeth.
14 Yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt
hwy, Er i mi destiolaethu am danaf fy hun gwir yw fy
nhestiolaeth: o blegit mi a wn o ba le y daethym, ac
i ba le yr ydwyf yn myned, chwithau ni's gwyddoch
o ba le yr wyfi yn dyfod, nac i ba le yr wyfi yn myned,
15 [s] Yr ydych chwi yn barnu yn ol y cnawd nid s 1 Sam. 16 7
ydwyfi yn barnu neb.
16 [t] Ac os wyfi yn barnu, y mae fy marn i yn gywir: t Pen. 5, 22
o blegit nid wyfi yn unic, ond myfi a'r Tad yr hwn a 3, 17
a'm hanfonodd i. 1 Ioan 5, 7
17 [u] Y mae hefyd yn scrifennedig yn eich cyfraith u Deut 17 6.
chwi, mai gwir yw testiolaeth dau ddyn. Act 6, 11
18 [v] Myfi yw yr hwn sydd yn testiolaethu am danafi, v Pen. 3, 31
ac y mae y Tad yr hwn a'm hanfonodd i yn testiol- Mat. 3, 17
aethu am danafi.
19 [w] Am hynny hwynt hwy a ddywedasant wrtho ef, w Pen. 5, 18
Pa le y mae dy Dad? yr Iesu a attebodd, Nid adwaen- a 17, 3
och na myfi, na'm Tad, ped adwaenech chwi fi, chwi Heb. 1, 3
a adwaenech fy Nhad hefyd. Pen. 14, 6
20 [x] Y geiriau hyn a lefarodd yr Iesu yn y trysor-dy x Luc 22, 5
wrth athrawiaethu yn y Deml, ac ni ddaliodd neb ef,
am na ddaethe ei awr ef etto.
21 [y] Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy trachefn, y Luc 19, 12
Yr wyfi yn myned ymmaith, ac chwi am ceisiwch i, ac Marc 16,
a fyddwch feirw yn eich pechod: lle yr wyfi yn myned 16
ni ellwch chwi ddyfod.
22 [z] Am hynny y dywedodd yr Iddewon A ladd efe z 2 Tim. 3.
ei hun? gan ei fod yn dywedyd, Lle yr wyfi yn myned, 13

ni ellwch chwi ddyfod.

[a Pen. 3, 31 Eph. 1,5 Pen. 18, 36] 23 [a] Yntef a ddywedodd wrthynt hwy, chwy-chwi ydych oddi isod, minne wyf oddi uchod, chwy-chwi ydych o'r byd hwn, minne nid wyf o'r byd hwn.

[b Pen. 3, 18 Act. 4,12] 24 [b] Am hynny y dywedais wrthych, y byddwch chwi feirw yn eich pechodau: o blegit oni chredwch chwi mai myfi ydwyf [efe,] chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau.

25 Yna y dywedasant wrtho ef, Pwy wyt ti? a'r Iesu a ddywedodd wrthynt hwy, Yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd wrthych o'r dechreuad.

[c Escc. 3, 18 Mat. 15, 14] 26 [c] Y mae gennyfi lawer i'w dywedyd a'u barnu am danoch chwi, eithr cywir yw yr hwn a'm hanfonodd i, a'r hyn a glywais inne ganddo ef, hynny yr wyfi yn eu mynegu i'r byd.

27 Ni wyddent hwy mai am y Tad yr oedd efe yn dywedyd wrthynt hwy.

[d Mat. 27, 54] 28 [d] Am hynny, dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Pan dderchafoch chwi Fab y dyn, yna y cewch chwi wybod mai myfi ydwyf [efe,] ac nad wyfi yn gwneuthur dim o honof fy hun, ond megis i'm dyscodd fy Nhad [felly] yr wyf yn llefaru.

29 Ac y mae yr hwn a'm hanfonodd i gyd a'm fi. ni'm gadawodd y Tad fi yn unic: o blegit yr wyfi yn gwneuthur bob amser yr hyn sydd foddlon ganddo ef.

[e Act. 10, 44] 30 [e] Fel yr oedd efe yn llefaru hyn, llawer a gredasant ynddo ef.

[f Mat. 13, 21] 31 [f] Yna dywedodd yr Iesu wrth yr Iddewon, y rhai oeddynt yn credu ynddo ef, Os arhoswch chwi yn fyng-air maufi, chwi a fyddwch yn wir ddyscyblion i mi.

32 Ac chwi a gewch wybod y gwirionedd, a'r gwirionedd a'ch rhyddha chwi.

[g Ex. 20, 2 Luc 2. 1. 2] 33 [g] Hwythau a attebasant iddo ef, Had Abraham ydym ni, ac ni wasanaethasom ni neb er ioed: pa fodd yr wyt ti yn dywedyd, Chwi a wneir yn rhyddion?

[h 1 Ioan 3, 18 Rhuf 6 17 Salm 119 3] 34 [h] Yr Iesu a attebodd iddynt hwy, Yn wir, yn wir meddaf i chwi, pwy bynnag sydd yn gwneuthur pechod, y mae efe yn was i bechod.

[i Gal. 4, 20] 35 [i] Ac nid yw y gwas yn parhau yn tŷ bythi y Mab sydd yn parhau byth.

[j 2Tim. 2, 20 j Heb. 3,2] 36 [j] Os y Mab gan hynny a'ch rhyddha chwi, gwir ryddion fyddwch chwi.

[k 1Cor. 2, 14 Mat 13, 15] 37 [k] Mi a wn mai had Abraham ydych chwi, ond yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i am nad yw fyng-air i yn genni ynoch chwi.

38 Yr wyfi yn traethu yr hyn a welais gyd a'm Tad i, ac yr ydych chwithau yn gwneuthur yr hyn a welsoch gyd a'ch tad chwi.

[l Rhuf. 4. 11 Gal. 3, 9] 39 [l] Hwythau a attebasant, ac a ddywedasant wrtho ef, Ein tad ni yw Abraham. Dywedodd yr Iesu wrthynt hwythau, Pe plant Abraham fyddech chwi, gweithredoedd Abraham hefyd a wnaech chwi.

[m Salm 119, 4 Gal. 4 16 Heb. 11, 8. 10] 40 [m] Eithr yn awr yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i, dyn a ddywedais i chwi y gwirionedd yr hwn a glywais i gan fy Nhad: hyn ni wnaeth Abraham.

[n Esec 16 20 Tit. 1,16] 41 Yr ydych chwi yn gwneuthur gweithredoedd eich tad chwi; hwythau a ddywedasant wrtho ef, Nid trwy buteindra y cenhedlwyd ni, un Tad sydd gennyn [sef] Duw.

[o 1Cor. 13 22] 42 [o] Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Pe Duw fydde eich Tad, chwi a'm carech i: canys oddi wrth Dduw y deilliais, ac a ddaethym i: o blegit nid o honof fy hun y daethym i, ond efe a'm hanfonodd i.

43 Pa ham nad adwaenoch fy lleferydd i? am na ellwch wrando fy ymadrodd i.

44 O'r tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynnwch chwi eu gwneuthur: llofrudd oedd efe o'r dechreuad, ac ni safodd yn y gwirionedd: o blegit nid oes wirionedd ynddo ef: pan yw yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd: canys y mae yn gelwyddog, ac yn dad iddo hefyd.

45 [p] Ac am fy mod i yn dywedyd y gwirionedd, nid ydych yn credu i mi. [p 2Thes. 2, 11]

46 Pwy o honoch chwi a'm argyhoedda i o bechod, od wyfi yn dywedyd y gwir, pa ham nad ydych chwi yn credu i mi?

47 [q] Y mae yr hwn sydd o Dduw yn gwrando geiriau Duw, a'm hynny nid ydych chwi yn gwrando, am nad ydych o Dduw. [q 1 Pedr 1, 23]

48 Yna 'r attebodd yr Iddewon, ac a ddywedasant wrtho ef, Ond da yr ydym ni yn dywedyd mai Samaritan wyt ti, a bod gennit gythrael? [r Pen. 4,9]

49 [s] Yr Iesu a attebodd, Nid oes gennif gythrael, ond yr wyf yn perchi fy Nhad, ac yr ydych chwithau yn fy amherchi inne. [s Pen. 17, 4]

50 Ac nid wyfi yn ceisio fyng-ogoniant fy hun, y mae a gais, ac a farn.

51 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Os ceidw neb fy ymadrodd maufi, ni wel efe farwolaeth byth.

52 [t] Yna y dywedodd yr Iddewon wrtho ef, Yr awron y gwybuom fod gennit gythrael: bu Abraham farw a'r prophwydi, ac meddi di os ceidw neb fy ymadrodd i nid archwaetha efe farwolaeth byth. [t 2Tim. 3, 15 Gen 25 8 Zec 1, 5]

53 A'i mwy wyt ti na'n tad Abraham? yr hwn fu farw, a'r prophwydi fuant feirw: pwy yr wyt ti yn dy wneuthur dy hun?

54 [u] Attebodd yr Iesu, Os myfi sydd yn fyngogoneddu fy hun nid yw fyng-ogoniant ddim: fy Nhad yw yr hwn sydd yn fyng-ogoneddu i yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd mai eich Duw chwi yw efe. [u 2Cor. 10 18 Phil. 2 9 Eph. 1,20]

55 Ond nid adnabuoch chwi ef, eithr myfi a'i hadwen ef, ac os dywedaf nad adwen ef, mi a fyddaf fel chwithau yn gelwyddog, ond mi a'i hadwen ef, ac yr wyt yn cadw ei air ef.

56 [v] Gorfoledd oedd gan eich tad Abraham weled fy nydd mau fi, ac efe a welodd, ac a lawenychodd. [v Luc 10, 24 Heb. 11, 1, 13]

57 Yna y dywedodd yr Iddewon wrtho ef, Nid wyt ti ddec a deugain etto, ac a welaist ti Abraham?

58 [w] Dywedodd yr Iesu wrthynt, Yn wir yn wir meddaf i chwi cyn bod Abraham yr wyfi. [w Pen. 1, 1 Ex. 3, 14]

59 Yna hwynt hwy a godasant gerrig i'w taflu atto ef, a'r Iesu a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r Deml, gan ddyfod trwy eu canol hwynt, ac felly yr aeth efe heibio.

## PEN. IX.

*Crist ar y Sabboth yn rhoddi ei olwg i un a anesid yn ddall, 13. y Phariseaid wedi holi hwn a'i rieni yn ei yscymuno ef allan o'r Synagog 35. Crist yn ei dderbyn ef, ac yn ei ddyscu, 39. gan ddangos peth o'r achos y daeth efe i'r byd.*

AC wrth fyned heibio efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth.

2 [x] A'i ddiscyblion a ofynnasant iddo ef gan ddywedyd, Rabbi: pwy a bechodd ai hwn, ai ei rieni ef, i'w eni ef yn ddall? [x Act. 28, 4 Luc 13,2]

3 Yr Iesu a attebodd, Nid hwn a bechodd na'i rieni chwaith, ond fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddo ef.

4 [y] Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd [y Pen. 17, 4 Eph. 5, 16]

tra ydyw hi yn ddydd, y mae y nos yn dyfod pryd ni
ddichon neb weithio.
5 Tra yr ydwyfi yn y byd, goleuni y byd ydwyfi.
z Gen. 2, 7 6 z Wedi iddo ef ddywedyd hyn, efe a boerodd ar
Marc 8, lawr, ac a wnaeth glai o'r poeryn, ac a irodd y clai ar
23 lygaid y dall.
a Esa. 8. 6 7 a Ac ef a ddywedodd wrtho ef, Dos ac ymolch yn
Luc 13. 4 llyn Siloe, (yr hwn a gyfieithir Anfonedig) felly yr aeth
2 Bren. 5, 10 efe, ac a ymolchodd, ac a ddaeth yn gweled.
Mat. 16, 8 Yna y cymydogion, a'r rhai a'i gwelsent ef o'r blaen
24 mai dall oedd efe, a ddywedasant, Onid hwn yw yr
hwn oedd yn eistedd ac yn cardotta?
9 Rhai a ddywedasant, hwn yw [efe,] ac eraill, y mae
efe yn debyg iddo ef: yntef a ddywedodd Myfi yw
[efe.]
10 Yna y dywedasant wrtho ef, Pa fodd yr agorwyd
dy lygaid?
11 Yntef a ddywedodd, Dyn a elwir Iesu a wnaeth
glai, ac a irodd fy llygaid i, ac a ddywedodd wrthyfi,
Dos i'r llyn Siloe, ac ymolch, ac wedi i mi fyned ac
ymolchi, mi a gefais fyng-olwg eil-waith.
b Pen. 4, 12 b Yna y dywedasant wrtho ef, Pa le y mae efe?
29, 30 dywedodd yntef ni wn i.
a 5 3 c Mat. 23, 13 c Hwynt hwy a'i dugasant ef at y Pharisæaid yr
31, 32 hwn gynt a fuase yn ddall.
d Pen. 5, 14 d A Sabboth oedd hi pan wnaeth yr Iesu y clai, ac
9 agoryd ei lygaid ef.
e Salm 2, 15 e Am hynny y gofynnodd y Pharisæaid iddo ef
2 trachefn, Pa fodd y cawse efe ei olwg eilwaith: yntef
Diar. 23 a ddywedodd wrthynt hwy, Clai a osododd efe ar fy
31 llygaid, ac mi a ymolchais, ac yr wyfi yn gweled.
f Pen. 7, 16 f Yna rhai o'r Pharisæaid a ddywedasant, Nid yw
28, 29 y dyn hwn o Dduw gan nad yw yn cadw y Sabboth:
eraill a ddywedasant, Pa fodd y gall dyn pechadurus
wneuthur y cyfryw arwyddion? ac yr oedd ymbledio
yn eu mysc hwynt.
g Deut. 17 g Dywedasant drachefn wrth y dall: beth yr
18, 18 wyt ti yn ei ddywedyd am dano ef, am agoryd o
Mat. 13, 12 honaw ef dy lygaid di? yntef a ddywedodd, mai proph-
Pen. 1, 50 wyd yw efe.
18 Am hynny ni chrede yr Iddewon am dano ef ei
fod efe yn ddall, a chael o honaw ef ei olwg drachefn,
nes galw o honynt ei rieni ef yr hwn a gawse ei olwg
drachefn.
19 Ac hwynt hwy a ofynnasant iddynt hwy gan
ddywedyd, A'i hwn yw eich mab chwi yr hwn yr yd-
ych chwi yn dywedyd ei eni yn ddall? pa fodd gan
hynny y mae efe yn gweled yn awr?
20 Ei rieni ef a attebasant iddynt hwy, ac a ddywed-
asant: Nyni a wyddom mai hwn yw ein mab ni, ai eni
ef yn ddall.
h Mat 10, 21 h Ond pa fodd y mae efe yn gweled yr awron,
10 ni's gwyddom ni: neu pwy a agorodd ei lygaid ef ni's
gwyddom ni: y mae efe mewn oedran, gofynnwch
iddo ef, efe a ddywed am dano ei hun.
i Pen. 12, 22 i Hyn a ddywedodd ei rieni ef am eu bod yn
42 ofni yr Iddewon: o blegit yr Iddewon a ordeiniasant
Esa. 66, 5 eusys os cyfaddefe neb ef yn Grist, yr escymunid ef
allan o'r Synagog.
23 Am hynny y dywedodd ei rieni ef, Y mae efe
mewn oedran, gofynnwch iddo ef.
j Ios. 7. 19 24 j Am hynny hwynt hwy a alwasant eilwaith y
Rhuf. 16, 18 dyn yr hwn a fuasai ddall, ac a ddywedasant wrtho ef,
Eph. 4, 14 Dod y gogoniant i Dduw, nyni a wyddom mai pech-
Mat 10, 24 adur yw y dyn hwn.

25 k Yna yntef a attebodd, ac a ddywedodd, Ni wn i k Mat. 7, 1
a ydyw efe bechadur, un peth a wn i, lle yr oeddwn i Rhuf. 14, 4
yn ddall, yr wyfi yn awr yn gweled.
26 Hwythau a ddywedasant wrtho ef drachefn, Beth
a wnaeth efe i ti? pa fodd yr agorodd efe dy lygaid
ti?
27 Efe a attebodd iddynt hwy, Myfi a ddywedais i
chwi eusys, ac ni wrandawsoch: pa ham yr ydych yn
ewyllysio clywed trachefn? a ydych chwithau yn
ewyllysio myned yn ddisgyblion iddo ef?
28 l Hwythau a'i difenwasant ef, ac a ddywedasant, l Rhuf. 2, 17
Bydd di ddisgybl iddo ef, disgyblion Moses ydym ni. Pen. 7, 26
29 Nyni a wyddom lefaru o Dduw wrth Moses, ond
ni wyddom ni o ba le y mae hwn.
30 m Y dyn a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt m Esa. 35, 3, 4
hwy, Yn hyn y mae rhyfeddod, na wyddoch o ba le y Mat. 11, 5
mae efe, ac efe a agorodd fy llygaid i.
31 n Ac nyni a wyddom nad yw Duw yn gwrando Pen. 3, 2
pechaduriaid, ond os ydyw neb yn dduwiol, ac yn n Salm 66, 18
gwneuthur ei ewyllys ef, hwnnw y mae efe yn ei Pen. 4, 23, 24
wrando.
32 o Ni chlywyd er ioed agoryd o neb lygaid un a o Mat 11, 25
enid yn ddall. Salm 8, 2
33 Pe hwn ni bydde o Dduw, ni alle efe wneuthur dim.
34 p Hwythau a attebasant, ac a ddywedasant wrtho p Luc 18, 11
ef: Mewn pechodau y ganwyd ti oll, ac a wyt ti yn ein
dyscu ni? ac hwynt hwy a'i bwriasant ef allan.
35 Clybu yr Iesu fwrw o honynt hwy ef allan, a phan
ei cafodd ef, efe a ddywedodd wrtho ef: A wyt ti yn
credu ym Mab Duw?
36 q Yntef a attebodd, ac a ddywedodd: Pwy yw efe q Mat. 13, 22
O Arglwydd, fel y credwyf ynddo ef?
37 r A'r Iesu a ddywedodd wrtho ef, Ti ai gwelaist ef, r Rhuf. 10, 17
a'r hwn sydd yn llefaru wrthyt yw efe.
38 s Yntef a ddywedodd, Yr wyfi yn credu (O Ar- s Luc 25, 52
glwydd,) ac efe ai addolodd ef.
39 t A'r Iesu a ddywedodd, I farnedigaeth y daethym t Mat 9,
i i'r byd hwn, fel y gwele y rhai nid ydynt yn gweled, 10
ac yr ele y rhai sydd yn gweled yn ddeillion. Luc 18, 11
40 u A rhai o'r Pharisæaid y rhai oeddynt gyd ag ef a u Mat. 15, 14
glywsant hyn, ac a ddywedasant wrtho ef: Ai deillion Pen. 8, 59
ydym ninau?
41 v Dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Pe deillion v 1 Tim. 1, 13
fyddech, ni bydde arnoch bechod: eithr yn awr (medd-
wch chwi) yr ydym ni yn gweled: am hynny y mae
eich pechod yn parhau.

## PEN. X.

*Am y bugail, 7 a'r drws 13 a'r gwas cyflog, 19 ymryson yng-hylch Crist, 31 amcanu ei labyddio, 39 ai ddal.*

YN w wir yn wir meddaf i chwi, Yr hwn nid yw w Pen. 14, 6
yn myned i mewn drwy yr drws i gorlan y de- Ier. 23, 21
faid, eithr sydd yn dringo ffordd arall, lleidr ac yspail-
iwr yw efe.
2 Ond yr hwn sydd yn myned i mewn drwy'r drws,
yw bugail y defaid. x Esa 61, 21
3 x I hwn y mae y dryssor yn agoryd, ac y mae yr 2 Tim. 2, 19
defaid yn gwrando ar ei lais ef: ac y mae efe yn galw
ei ddefaid ei hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain Phil. 4, 3
hwy allan. y Heb. 13, 9
4 y Ac wedi iddo yrru allan ei ddefaid ei hun, efe a 1 Pedr 5, 5
aiff o'u blaen hwynt, a'r defaid a'i canlynant ef, am idd- z Diar. 2, 16
ynt adnabod ei lais ef. Gal. 1, 8
5 z A dyn dieithr ni's canlynant, eithr ciliant oddi a Pen. 9, 40
wrtho, am nad adwaenant lais y dieithriaid.
6 a Y ddammeg hon a ddywedodd yr Iesu wrthynt, Mat 13, 13

ond hwy ni wybuant, pa bethau oedd y rhai hyn a
ddywedase efe wrthynt.
7 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt eilwaith, Yn
wir, yn wir, meddaf i chwi, myfi yw drws y defaid.
bMat.7, 8 b Cynifer oll, ac a ddaethant o'm blaen i, lladron
15 Jer 23,21 ac yspail-wyr ynt, eithr ni wrandawodd y defaid
Preg.7, arnynt.
26 cSal.23,2 9 c Myfi yw'r drws, os aiff neb i mewn drwofi, efe a
fydd cadwedic: ac efe a aiff i mewn, ac allan, ac a
gaiff borfa.
dDat.17, 10 d Nid yw lleidr yn dyfod ond i ladratta, ac i ladd,
2 2Pedr 2, ac i ddestruwio, myfi a ddaethum er mwyn cael o
3 honynt fywyd, a'i gael yn helaethach.
Pen.1,16 2Pedr 1, 11 e Myfi yw'r bugail da: bugail da a rydd ei enioes
3, 4 dros ei ddefaid.
eEsa 53, 10, 12 12 f Eithr gwas cyflog, a'r hwn nid yw fugail, yr hwn
2 Cor. 5, nid eiddo y defaid, sydd yn gweled y blaidd yn dyfod,
21 fEzec. 2, ac yn gadel y defaid, ac yn cilio, a'r blaidd sydd yn
3, 4 sclyfio, ac yn tarfu y defaid.
Phil 2,21 gRhuf. 13 g Y mae y gwas cyflog yn ffoi, am ei fod yn was
10, 1. cyflog, ac heb ofalu am y defaid.
Zec. 11, 14 h Myfi yw y bugail da, ac mi a adwen fy mau fi,
4 hPen.13, ac am adwaenir gan fy mau fi, fel yr edwyn y Tad fy fi,
18 Salm 1,6 felly yr adwaen i y Tad.
15 Ac yr ydwyf fi yn rhoddi fy enioes dros [fy] ne-
faid.
iPen.11, 16 i Y mae gennifi hefyd ddefaid eraill, y rhai nid ynt
52 Hos 1,11 o'r gorlan hon, rhaid i mi areilio y rhai hyny, a hwy a
wrandawant fy llais, ac fe fydd un gorlan, ac un bugail.
17 Am hyny y mae y Tad yn fyng-haru i, am fy mod
i yn dodi fy enioes, fel y cymmerwyf eil-waith hi:
18 Nid yw neb yn ei dwyn oddi arnaf, ond ei rhoddi
hi yr ydwyfi o honof fy hun: ac y mae i mi feddiant
i'w rhoddi hi, ac y mae i mi feddiant i'w chymmeryd
trachefn, y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan y Tad.
jMat 12, 19 j Yna y bu eil-waith ymrafael rhwng yr Iddewon
24 am yr ymadroddion hyn.
20 A llawer o honynt a ddywedasant, Y mae cyth-
rael ganddo, ac y mae yn ynfydu: pa ham y gwran-
dewch chwi ef?
21 Eraill a ddywedasant, Nid yw y rhain eiriau un a
chythrael ynddo, a all y cythrael agoryd llygaid y
deillion?
22 Ac yna yr oedd y gyssegr-ŵyl yn Ierusalem, a'r
gaiaf oedd hi.
k 1Bren. 23 k A'r Iesu a rodie yn y Deml ym mhorth Salo-
6, 3 mon.
lSalm 22, 24 l Am hynny y daeth yr Iddewon yn ei gylch ef,
12 a 35, 21 ac y dywedasant wrtho, Pa hyd y peri i ni ammau? os
Mat. 26, dydi yw Crist, dywet i ni yn eglur.
63 25 m A'r Iesu a attebodd: Dywedais i chwi, ac nid
mPen. 5, 25 ydych yn credu y gweithredoedd yr wyfi yn eu gwneu-
a 6, 35,48 thur yn enw fy Nhad, y mae y rhai hyn yn testiolaethu
o honofi.
26 Ond chwi nid ydych yn credu: canys nid ydych
chwi o'm defaid i, fel y dywedais i chwi.
27 Y mae fy nefaid i yn gwrando fy llais i, a mi a'u
hadwaen hwynt, a hwy a'm canlynant i.
nRhuf.6, 28 n Ac yr ydwyf finne yn rhoddi iddynt fywyd tra-
23 Rhuf 8 1 gywyddol, ac ni chyfyrgollant byth, ac ni ddwg neb
Mat. 16, hwynt o'm llaw i.
18 oMat.11, 29 o Fy Nhad i yr hwn a'u rhoddes hwynt i mi sydd
27 fwy na neb oll: ac nis gall neb eu dwyn hwy o law fy
Pen 17,6, Nhad.
12 30 Myfi a'r Tad un ydym.

31 p Am hynny y cododd yr Iddewon eilwaith gerrig pPen. 8
i'w labyddio ef. 59 Lef. 24,
32 q A'r Iesu a attebodd iddynt, Llawer o weithred- 14, 16
oedd da a ddangosais i chwi oddi wrth fy Nhad: am q Salm 109. 4.
ba un o'r gweithredoedd hynny yr ydych yn fy llab- Preg.4,4
yddio?
33 A'r Iuddewon a attebasant iddo gan ddywedyd,
Nid ydym yn dy labyddio am weithred dda, eithr am
gabledigaeth: ac am dy fod ti yr hwn wyt ddyn yn
dy wneuthur dy hun yn Dduw.
34 r A'r Iesu a attebodd iddynt, Onid yw yn scrifen- rLuc 24,
nedic yn eich deddf chwi? mi a ddywedais, Duwiau 44 Salm 82,
ydych. 6
35 Os galwodd efe hwynt yn dduwiau, at y rhai y Ex. 21, 6
daeth gair Duw, ac ni ellir ddatod yr scrythur:
36 s A dywedwch chwi mai cablu yr ydwyf fi, (yr sEsa.9 5,
hwn a sancteiddiodd y Tad, ac a ddanfonodd i'r byd) 6 Phil. 2,6,
am i mi ddywedyd, Mab Duw ydwyf? 7
37 Onid wyfi yn gwneuthur gweithredoedd fy Nhad,
na chredwch i mi.
38 Ond os myfi sydd yn gwneuthur, er na chredwch
i mi, credwch i'r gweithredoedd: fel y gwybyddoch
ac y credoch, fod y Tad ynof fi, a minne ynddo yntef.
39 t Am hyny y ceisiasant ei ddala ef eilwaith, ac efe t Pen. 7,
a aeth allan o'u dwylo hwynt. 30 a 8,59
40 Ac efe a aeth trachefn tros yr Iorddonen i'r lle y
buase Ioan yn gyntaf yn bedyddio, ac a arhosodd yno.
41 A llawer a ddaethant atto, ac a ddywedasant, Ni
wnaeth Ioan ddim gwrthiau, ond pob peth a'r a ddy-
wedodd efe am hwn, oeddynt wir.
42 u A llawer yno a gredasant ynddo. uDiar 21

## PEN. XI. 30

*Marwolaeth Lazarus, a'i ail-gyfodiad.* 50 *Prophwydoliaeth Caiaphas.* Act 5 39

AC yr oedd un yn glaf, a'i enw oedd Lazarus o v Luc 10,
Bethania, tref Mair a'i chwaer Martha, 38 39 Pen.12,1,
2 w Mair [hon] ydoedd, yr hon a eneiniodd yr Ar- 3
glwydd ag olew, ac a sychodd ei draed ef â'i gwallt, wDiar.10 7
yr hon yr oedd ei brawd Lazarus yn glaf. Dat. 14 4
3 x Am hyny y danfonodd ei chwiorydd ef at [yr xPreg.4,
Iesu], gan ddywedyd, Arglwydd, wele, y mae yr hwn 9, 12 Iago 5 14
sydd hoff gennit yn glaf. Pen. 10,
4 y A'r Iesu pan glybu [hyn], a ddywedodd, Nid yw 40 Heb.12,6
y clefyd hwnw i farwolaeth, eithr er gogoniant Duw, Pen. 13,
fel y gogonedder Mab Duw drwy hynny. 23 yPen. 12,
5 z A hoff oedd gan yr Iesu Fartha, a'i chwaer, a 27
Lazarus. Pen.5,23 zSal. 16,3
6 a Am hynny, er cynted y clybu ei fod ef yn glaf, yna Eph. 1,5
yr arhosodd efe ddau ddydd yn y lle yr oedd efe. aDeut 32 36
7 b Wedi hynny y dywedodd wrth ei ddiscyblion: Hos. 6. 2
Awn eil-waith i Iudæa. bPen.10, 40
8 c Yna ei ddiscyblion a ddywedasant wrtho, Rabbi, Act. 20,
yn awr y ceisiodd yr Iddewon dy labyddio, ac a wyt 22, 24
ti yn myned yno drachefn? cMat.16, 21, 22
9 d A'r Iesu a attebodd, Onid oes deuddec awr o dPen 9,4
ddydd? os rhodia neb y dydd ni thramgwydda, am ei 1Pedr 3, 13
fod yn gweled goleuad y byd hwn.
10 e Ond os rhodia neb y nos efe a dramgwydda, am ePreg.9,
nad oes goleuad ynddo. 10
11 f Hyn a lefarodd efe, ac wedi hyn efe a ddywed- f Esa. 41,
odd wrthynt, Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno, ond 8 Iago2,23
yr wyfi yn myned i'w ddeffroi ef. Act. 7 60
12 Y discyblion yna a ddywedasant wrtho, Arglwydd, Luc 8,52
os huno y mae, efe a fydd gwych.
13 Ond yr Iesu a ddywedase hyn am ei farwolaeth

ef, a hwy a dybiasant mai am hun cwsc yr oedd efe yn dywedyd.

14 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt yn eglur, Bu farw Lazarus.

15 Ac y mae yn llawen gennif nad oeddwn i yno, fel y credoch; ond awn atto ef.

16 Yna y dywedodd Thomas yr hwn a elwir Didumus wrth ei gyd-ddiscyblion, Awn ninnau hefyd i farw gyd ag ef.

17 Yna y daeth yr Iesu, ac a'i cafodd ef wedi gorwedd bellach bedwar diwrnod yn y bedd.

18 (A Bethania oedd yn agos i Ierusalem, yng-hylch pymthec stad oddi wrthi)

g Rhuf. 12, 15 19 [g] A llawer o'r Iuddewon a ddaethant at Martha a Mair i'w cyssuro am eu brawd.

20 Ac er cynted y clybu Martha ddyfod o'r Iesu, hi a aeth i'w gyfarfod: ond Mair a eisteddodd gartref.

h 2 Bren. 5, 11 21 [h] Yna y dywedodd Martha wrth yr Iesu, Arglwydd, pe buasit ti ymma, ni fuase farw mo'm brawd:

i Salm 16, 11 a 31, 22 Salm 2, 8 22 [i] Eithr mi a wn hefyd yr awron, pa beth bynnac a ddymunech gan Dduw, y dyry Duw i ti.

j Ester 4, 14 1 Thes. 4, 13 23 [j] A'r Iesu a ddywedodd wrthi, Fe gyfyd dy frawd di eil-waith.

k 1 Cor. 15, 12, 13 Luc 14, 14 24 [k] Dywedodd Martha wrtho, Mi a wn y cyfyd efe eil-waith yn yr adgyfodiad y dydd diweddaf.

l Pen. 14, 6 1 Cor. 15, 22 Phil 3, 20 25 [l] Dywedodd yr Iesu wrthi, Myfi yw 'r cyfodiad a'r bywyd: y neb a gredo ynof, er iddo farw fydd byw.

Mat. 23, 30 26 [m] A phwy bynnac sydd yn fyw ac yn credu ynnofi ni bydd marw byth: a ydwyt ti yn credu hyn?

m Dat 20, 6 1 Ioan 3, 14 27 [n] Hi a ddywedodd, Ydwyf Arglwydd, yr wyfi yn credu mai ti yw y Crist Mab Duw, yr hwn oedd i ddyfod i'r byd.

n Pen. 6, 69 1 Ioan 4, 16 Salm 2, 2 28 [o] Ac wedi iddo ddywedyd hynny, hi a aeth ymaith, ac a alwodd yn ddirgel ei chwaer Mair, gan ddywedyd, Fe ddaeth yr Athro, ac y mae yn galw am danat.

Mat, 16, 17 o Marc 10, 49 29 Pan glybu hi, hi a gododd yn ebrwydd, ac a ddaeth atto ef.

30 Canys ni ddaethe yr Iesu etto i'r dref, ond yr oedd efe yn y lle yr aethe Martha i gyfarfod ag ef.

p 1 Thes. 4, 16 31 [p] Yna yr Iddewon, y rhai oeddynt gyd â hi yn y tŷ yn ei chyssuro hi, pan welsant Mair yn codi yn ebrwydd, ac yn myned allan, a'i canlynasant hi, gan ddywedyd, Y mae hi yn myned at y bedd i wylo yno.

32 Yna wedi dyfod Mair lle yr oedd yr Iesu, pan welodd hi ef, hi a syrthiodd i lawr wrth ei draed ef, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd pe buasit ti ymma, ni buase fy mrawd farw.

q Salm 34, 21 Heb. 4, 16 33 [q] A phan welodd yr Iesu hi yn wylo, a'r Iddewon [hefyd] y rhai a ddaethant gyd â hi yn wylo, efe a riddfanodd yn yr yspryd, ac a ymgynhyrfodd, ac a ddywedodd,

r Zec. 1, 13 34 [r] Pa le y rhoisoch chwi ef? Yna y dywedasant wrtho, Arglwydd, tyred, a gwel.

35 Yr Iesu a wylodd.

s Eph. 3, 18 36 [s] Am hynny y dywedodd yr Iddewon, Wele, fel yr oedd efe yn ei garu ef.

t Pen. 9, 6 37 [t] Eithr rhai o honynt a ddywedasant, Oni allase hwn, yr hwn a agorodd lygaid y dall beri na buase hwn farw?

38 Yna yr Iesu a riddfannodd eil-waith ynddo ei hun, ac a ddaeth at y bedd, ac ogof oedd, a charreg a ddodasid arno.

39 Dywedodd yr Iesu, Codwch y garreg a Martha chwaer yr hwn a fuase farw, a ddywedodd wrtho, Arglwydd, y mae efe weithian yn drewi, herwydd y mae [yn farw] er ys pedwar diwrnod.

40 [u] A'r Iesu a ddywedodd wrthi, Oni ddywedais i ti, pes credit, y ceit ti weled gogoniant Duw, u Mat. 13, 53 Luc 1, 20

41 [v] Yna y codasant y garreg lle yr oedd y marw wedi ei osod: a'r Iesu gan godi ei olwg i fynu a ddywedodd, Y Tad, yr wyf yn diolch i ti, am wrando o honot arnaf. v Phil. 2, 7, 8

42 [w] Ond mi a wyddwn dy fod ti yn fyng-wrando bob amser, eithr er mwyn y bobl y rhai ydynt yn sefyll o'm hamgylch, y dywedais, fel y credant mai tydi a'm hanfonaist i. w 1 Cor. 2, 12 1 Ioan 5, 15

43 [x] Ac wedi iddo ddywedyd hyn: efe a lefodd â llef uchel: Lazarus, tyred allan. x Rhuf. 4, 17

44 [y] Yna yr hwn a fuase farw a ddaeth allan, yn rhwym ei draed a'i ddwylo mewn amdo, a'i wyneb a rwymasid â napcyn; a dywedodd yr Iesu wrthynt, Gollyngwch ef, a gadewch iddo fyned ymmaith. y Iob 1, 21 1 Tim. 6, 7

45 [z] Yna llawer o'r Iddewon y rhai a ddaethant at Mair, ac a welsent y pethau a wnaethe yr Iesu a gredasant ynddo ef. z Act 17, 32, 34

46 [a] Eithr rhai o honynt a aethant ymmaith at y Pharisæaid; ac a ddywedasant iddynt y pethau a wnaethe yr Iesu. a 2 Cor. 1, 15 2 Tim. 3, 15

47 [b] Yna yr arch-offeiriaid, a'r Pharisæaid a gasglasant gyngor, ac a ddywedasant, Pa beth a wnawn? canys y mae y dyn ymma yn gwneuthur llawer o arwyddion. Amos 7, 10 b Act. 4, 16

48 [c] Os gadawn ni ef felly, pawb a gredant iddo, ac fe a ddaw y Rhufeiniaid, ac a ddifethant ein lle ni a'n cenedl. c Gen. 11, 4 Pen. 7, 48

49 Yna Caiphas un o honynt, yr hwn oedd arch-offeiriad y flwyddyn honno, a ddywedodd wrthynt, Nid ydych chwi yn gwybod dim:

50 [d] Nac yn ystyried, mai buddiol yw i ni farw o un dyn dros y bobl, ac na chyfrgoller y genedl oll. d Pen. 18, 14

51 [e] Hyn a ddywedodd efe, nid o honaw ei hun, eithr am ei fod yn arch-offeiriad y flwyddyn honno, efe a brophwydodd y bydde yr Iesu farw dros y genedl: e Num 25, 5 Act. 4, 27 28

52 [f] Ac nid tros y genedl honno yn unic, eithr hefyd er casglu yng-hyd blant Duw, y rhai a wascarasid. f Pen. 10, 16 Eph. 2, 14

53 Yna o'r dydd hwnw allan y cyd-ymgynghorasant am ei ladd ef. Gal 3, 28

54 [g] Am hynny ni rodiodd yr Iesu mwy yn amlwg ym mysc yr Iddewon, ond efe a aeth oddi yno i'r wlad yr hon sydd yn agos i'r anialwch, i ddinas a elwir Ephraim, ac a arhôdd yno gyd â'i ddiscyblion. g Mat. 10, 16

55 [h] A Phasc yr Iddewon oedd yn agos, a llawer a aethant o'r wlad honno i fynu i Ierusalem o flaen y Pasc, i'w hymlanhau eu hunain. h Num. 9, 6

56 [i] Yna y ceisiasant yr Iesu; a dywedodd y naill wrth y llall yn sefyll yn y Deml, Beth a dybiwch chwi gan na ddaeth efe i'r ŵyl? i Esa 1, 15 Rhuf. 3, 15

57 [j] A'r arch-offeiriaid a'r Pharisæaid a roesent orchymyn, os gwydde neb pa le yr oedd efe, ar fynegu, i gael ei ddal ef. j Mat. 26, 4 Marc 14, 1 2 Tim 1, 5

## PEN. XII.

*Mair yn eneinio traed yr Iesu ag enaint.* 4. *Iudas yn grwgnach.* 10. *Yr Iddewon yn ceisio dal Crist a Lazarus.* 14. *Iesu yn marchogeth yr assyn.* 28. *Gogonedd Crist o'r nef.* 42. *Rhai yn credu ac heb gyffesu.*

---

PEN. XI. Adn 16.] "Fel y byddom feirw gydag ef." Yr oedd y dysgyblion yn anfoddlon i'r daith: gan feddwl os i Iudea yr aent, fod angeu yn eu haros hwy a'u Meistr! Marc 10, 32. Heb ddysgu'r wers galed hono yr oeddynt. Cofiwn, Mat. 16, 25, Pen. 12, 25.

gymmaint a phe dywedid, Athro.
a Luc 10, 17 [a] Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Na chyffwrdd â mi,
4 o blegit na dderchafais etto at fy Nhad, eithr dos at fy
mrodyr a dywet wrthynt, Yr wyf yn derchafu at fy
Nhad i, a'ch Tad chwithau, a'm Duw i, a'ch Duw
chwithau.
18 Mair Magdalen a ddaeth gan fynegu i'r discyblion,
weled o honi hi yr Arglwydd, a dywedyd o honaw ef
hyn wrthi hi.
o Act 12, 19 [o] Yna pan aeth hi yn hwyr y dydd cyntaf hwnnw
10 Mat. 10, o'r Sabboth, yr oedd y discyblion wedi ymgasclu yng-
16 Pen. 14, hyd, a'r drysau yn gaead rhag ofn yr Iddewon, yr Iesu
27 a ddaeth, ac a safodd yn eu plith, ac a ddywedodd
wrthynt, Tangneddyf i chwi.
p Can. 3, 4 20 [p] Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddangosodd
iddynt ei ddwylaw, a'i ystlys, yna wrth weled yr Ar-
glwydd, y discyblion a lawenychasant.
q 2 Cor. 5, 21 [q] Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt eilwaith,
20 Mat. 28, Tangneddyf i chwi; megis y danfonodd fy Nhad fi, felly
18 yr ydwyf finne yn eich anfon chwithau.
r Gen 2, 22 [r] Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a anhadlodd
7 Pen. 16 7 arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Cymmerwch yr ys-
pryd Glân.
s Mat. 16 23 [s] I bwy bynnac y maddeuoch eu pechodau, madd-
19 a 8, 18 euwyd iddynt; i bwy bynnac yr attalioch, hwy a attal-
iwyd.
24 [t] Eithr Thomas un o'r deuddec yr hwn a elwir
t Pen. 10, Didimus nid oedd gyd â hwynt, pan ddaethe yr Iesu.
16 u Pen. 1, 25 [u] A'r discyblion eraill a ddywedasant wrtho, Ni a
45 Pen. 21 7 welsom yr Arglwydd: yntef a ddywedodd wrthynt,
Luc 24 39 Oni welwyf yn ei ddwylaw ol yr hoelion, a dodi fy mŷs
Salm. 78 yn ol yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chred-
41 af fi.
v Luc 24, 26 [v] Ac ar ben yr wyth niwrnod, yr oedd ei ddiscybl-
33 Mat. 2 30 ion ef i mewn eil-waith, a Thomas gyd â hwynt, yr Iesu
a ddaeth a'r drysau yn gaead, ac a safodd yn eu canol,
ac a ddywedodd, Tangneddyf i chwi.
w Salm 27 [w] Wedi hynny y dywedodd efe wrth Thomas,
103 12 13 Moes yma dy fŷs, a gwel fy nwylaw, ac estyn dy law,
a dod yn fy ystlys, ac na fydd anghredadyn, ond cred-
adyn.
x Salm 21 28 [x] A Thomas a attebodd, ac a ddywedodd wrtho,
1 Fy Arglwydd a'm Duw.
y Heb 11 29 [y] Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Thomas, am i ti
1 weled y credaist: bendigedic yw y rhai ni welsant, ac a
gredasant.
z Pen. 21 30 [z] A llawer hefyd o arwyddion eraill a wnaeth yr
25 Deut. 29 Iesu yn ngwydd ei ddiscyblion, y rhai nid ynt scrifen-
29 edic yn y llyfr hwn.
a Tim. 3 31 [a] Eithr y pethau hyn a scrifenwyd fel y credech
16 a Act4 12 fod Iesu Grist yn Fab Duw, ac i chwi gan gredu, gael
bywyd trwy ei enw ef.

## PEN. XXI.

*Y discyblion yn pysgotta yn ofer nes ymddangos o Grist iddynt, ac yn pysgotta wrth archiad Crist, ac yn ffynnu. 13 Yr Iesu yn torri y bara a'r pyscod. 15 Iesu yn gorchymyn porthi ei ddefaid. 18 Ac yn dangos i Betr y bydde raid iddo ddioddef hefyd, 20 Geiriau Crist a Phetr ynghylch Ioan Efengyl-wr.*

b Mat. 2 3 16 17 GWEDI[b] hynny yr ymddangosodd yr Iesu eil-waith
2 Cor. 4 13 i'w ddiscyblion wrth fôr Tiberias: ac fel hyn yr ym-
ddanghosodd.
2 Simon Petr a Thomas, yr hwn a elwir Didymus, a
Nathanael yr hwn oedd o Cana yn Galilea, a [meibion]
Zebedeus a dau eraill o'i ddiscyblion ef oeddynt ynghyd.
3 [c] A dywedodd Simon Petr wrthynt, Mi a af i bys- c Luc 24
cotta: hwythau a ddywedasant, Ninnau a awn gyd â 49 Pen. 20
thi, ac hwy a aethant, ac yn y man hwy a ddringasant 22
i'r llong, ac ni ddaliasant hwy ddim y nos honno. 1 Cor. 15 10
4 [d] Ac yn awr wedi dyfod y boreu, yr Iesu a safodd d Luc 24
ar y lann: ond ni wydde y discyblion mai Iesu yd- 16 1 Cor. 3 7
oedd.
5 [e] Yna Iesu a ddywedodd wrthynt, O blant, a oes e Mat. 15
gennych ddim bwyd? attebasant iddo, Nac oes. 32 a 2 11
6 [f] Yntef a ddywedodd wrthynt, Bwriwch allan y f Sal 37 3
rhwyd i'r tu dehau i'r llong, a chwi a gewch, felly y a 128 2
bwriasant allan, ac ni allent ei thynnu rhag maint lli-
aws y pyscod.
7 [g] Yna y dywedodd y discybl yr hwn yr oedd Iesu g Can. 8 7
yn ei garu wrth Petr, Yr Arglwydd yw efe, yna Simon 2 Cor. 5 14 Pen. 13
Petr pan glybu mai yr Arglwydd oedd, a wregysodd 25
ei amwisc (canys noeth oedd efe,) ac a'i bwriodd ei
hun i'r môr.
8 Eithr y discyblion eraill a ddaethant mewn llong,
(o blegit nid oeddynt bell oddiwrth dir ond ynghylch
dau-cant cufydd) dan dynnu y rhwyd [yn llawn] pyscot, h Pen. 6 9
9 [h] A chan gynted y daethant i dir, hwy a welent 1 Bren. 17
farwar a physcod wedi eu dodi arnynt, a bara. 6
10 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Moeswch ymma
[rai] o'r pyscod a ddaliasoch yr awron.
11 [i] Simon Petr a escynnodd, ac a dynnodd y rhwyd i Luc 5 6
i dir yn llawn o byscod mawrion, cant a thri ar ddec a
deugain, ac er bod cymmaint, ni thorrodd y rhwyd.
12 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Deuwch cinniewch,
ac ni feiddie un o'r discyblion ofyn iddo, Pwy wyt ti?
am eu bod yn gwybod mai yr Arglwydd oedd efe. j Pen. 6 11
13 [j] Yna y daeth yr Iesu, ac a gymmerth fara, ac a'i Luc 24 30
dodes iddynt, a'r pyscod yr un modd. 35
14 [k] Dymma yr awr hon y drydedd waith yr ym- k Pen. 20,
ddangosodd Iesu i'w ddiscyblion, wedi iddo adgyfodi 19 26
o feirw.
15 [l] Ac wedi iddynt giniawa, Iesu a ddywedodd wrth l Mat 16
Simon Petr, Simon [Mab] Iona, a wyt ti yn fyng-haru 17
i, yn fwy nag y [mae] y rhai hyn? efe a ddywedodd,
Ydwyf, Arglwydd: ti a wyddost y caraf di: yna y
dywedodd wrtho, Portha fy ŵyn.
16 [m] Ac efe a ddywedodd wrtho eil-waith, Simon m Marc 16 7
[Mab] Iona, a wyt ti yn fyng-haru i? yntef a ddywed- Luc 4 34
odd wrtho, Ydwyf Arglwydd, ti a wyddost fy mod yn
dy garu: efe a ddywedodd wrtho, Portha fy nefaid.
17 [n] Ac efe a ddywedodd wrtho y drydydd waith, n Pen 13
Simon [Mab] Iona, a wyt ti yn fyng-haru i? [a] Phetr 27
a dristäodd, am iddo ddywedyd wrtho y drydedd
waith, A wyt ti yn fyng-haru i? ac efe a ddywedodd
wrtho, Arglwydd, ti a wyddost bob peth, ti a wyddost
y caraf di, Iesu a ddywedodd wrtho, Portha fy nefaid.
18 [o] Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Pan oeddit iangach o 2 Pedr 1
ti a ymwregysit, ac a rodit lle mynnit, eithr pan fych 14
hên, ti a estynni dy ddwylaw, ac arall a'th wregysa,
ac a'th arwain lle ni byddo ewyllys gennit.
19 [p] A hyn a ddywedodd efe gan arwyddo, drwy ba
fath angeu y gogonedde efe Dduw, ac wedi iddo ddy- p Pen. 13
wedyd hyn, efe a ddywedodd wrtho, Canlyn fi. 28 Mat 16 24
20 [q] Yna y troes Petr, ac y gwelodd y discybl yr hwn q Pen 13
yr oedd yr Iesu yn ei garu yn canlyn, yr hwn hefyd 25
a bwysase ar ei fron ef ar swpper, ac a ddywedase,
Arglwydd pwy yw hwnnw a'th fradycha di? r 1 Thes 4
21 Gan hynny pan welodd Petr hwn, efe a ddywed- 16
odd wrth Iesu, Arglwydd, beth [am] hwn? Mat 30 15 Salm 131
22 [r] Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os ewyllysiaf iddo 1 2

aros oni ddelwyf, beth [yw hynny] i ti? canlyn di
fy-fi.
23 Yna yr aeth y gair hwn ym mhlith y brodyr, na
fydde y discybl hwnnw farw: eithr ni ddywedase Iesu
wrtho, na fydde efe farw, ond, Os ewyllysiaf iddo aros
u Ioan 1 oni ddelwyf, beth [yw hynny] i ti?
14 24 u Dymma y discybl hwnnw, yr hwn sydd yn testiol-
aethu am y pethau hyn, ac a scrifenodd y pethau hyn,
ac ni a wyddom fod ei destiolaeth ef yn wir. t Pen 20
25 t Ac y mae hefyd lawer o bethau eraill a wnaeth 31 St
yr Iesu, y rhai pe scrifennid bob yn un, ac un, nid Mat 6 13
wyf yn tybied y cynhwyse y byd y llyfrau a scrifennid, Dat 1 5 6
*Amen.* Luc 24 53 Marc 16 20

*TERFYN Y SANCTAIDD EFENGYL YN OL St. IOAN.*

# ACTAU,

NEU

# WEITHREDOEDD YR APOSTOLION.

## PENNOD I.

*Geiriau Crist a'i angelion wrth yr apostolion. 9. Derchafiad Crist, 15. dewis Matthias*

MI a a orphennais y traethawd cyntaf, O Theoph-
a Luc 1 1 ilus am yr holl bethau y rhai a ddechreuodd yr
3 Ioan 21 Iesu eu gwneuthur a'u dyscu,
25 a 4 29 2 b Hyd y dydd y derbyniwyd ef i fynu, wedi iddo
Mat 23 3 b Mat 28 trwy yr Yspryd Glân roddi gorchymyn i'r apostolion
19 y rhai a etholase efe.
3 c I'r rhai, wedi iddo ef ddioddef yr ymddangosodd
c 2 Cor 15 5 efe yn fyw trwy lawer o arwyddion siccr, gan fod yn
Luc 19 13 weledig iddynt tros ddeugain nhiwrnod, ac yn ym-
ddiddan yng-hylch pethau o deyrnas Dduw.
4 d Ac wrth gyttal â hwynt, efe a orchymmynodd
d Ioan 14 26 iddynt, nad elent ymmaith o Ierusalem, eithr disgwyl
am addewid y Tad yr hwn (eb efe) a glywsoch gennifi.
5 Canys Ioan yn ddiau a fedyddiodd â dwfr, ond
chwi a fedyddir â'r Yspryd Glân cyn nemmawr o
ddyddiau.
6 e Am hynny wedi dyfod o honynt yng-hyd, y gof-
e 2 Thes 2 1 2 ynnasant iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, ai 'r pryd
Hos 3 11 hyn y rhoddi trachefn y frenhiniaeth i Israel?
7 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ni pherthyn i chwi
wybod yr amseroedd na'r prydiau y rhai a osodes y
Tad yn ei feddiant ei hun.
8 Eithr chwi a dderbynniwch rinwedd yr Yspryd
Glân, wedi y dele efe arnoch: a chwi a fyddwch dyst-
ion i mi yn Ierusalem, ac yn holl Iudæa, a Samaria ac
hyd eithafoedd y ddaiar.
Luc 24 9 f Ac wedi iddo ddywedyd hyn, a hwyntwy yn ed-
rych, y cyfodwyd ef i fynu, ac wybren a'i cymmerodd
Marc 16 ef i fynu o'u golwg hwy.
Heb 9 24 10 Ac fel yr oeddynt yn tremmu yn graff tu a'r nef,
ac efe yn myned, wele, dau wr a safasant ger llaw idd-
ynt mewn gwisc wenn.
Mat. 13 11 g Y rhai a ddywedasant, Chwi wyr o Galilæa, pa
ham y sefwch yn edrych tu a'r nef? yr Iesu hwn, yr
hwn a gymmerwyd i fynu oddi wrthych i'r nef, a ddaw
yr un modd ac y gwelsoch ef yn myned i'r nef.
12 Yna y troesant i Ierusalem o'r mynydd a elwir
[mynydd] Olewydd yr hwn sydd yn agos i Ierusalem,
sef taith [diwrnod] Sabboth.
13 h Ac wedi dyfod i mewn, yr aethant i'r llofft lle h Pen 20 8
yr oeddynt hwy yn aros, sef Petr, ac Iaco, ac Ioan, ac Mat 10 16
Andreas, Philip a Thomas, Bartholomew a Mathew,
Iaco [mab] Alpheus, a Simon Zelotes, a Iudas [brawd]
Iaco.
14 i A'r rhai hyn oll yn gyttunol oeddynt yn parhau i Mat 27
mewn gweddi ac ymbil, yng-hyd â'r gwragedd, ac â 55 56
Mair mam Iesu, a chyd â'i frodyr ef.
15 A'r dyddiau hynny Petr yn cyfodi i fynu yng-
hanol y discyblion a ddywedodd (ac yr oedd o rifedi
pobl yn yr un lle yng-hylch ugain [a] chant) j Salm 41
16 j Ha wŷr, frodyr, yr oedd yn rhaid cyflawni yr 9
scrythyr ymma, yr hon y rhag-ddywedodd yr Yspryd Mat 26 47
Glân trwy enau Dafydd am Iudas, yr hwn a fu flaenor
i'r rhai a ddaliasant yr Iesu, k Mat 10
17 k Canys cyfrifwyd ef yn ein plith ni, ac efe a gaw- 3
se rann o'r weinidogaeth hon. Pen. 8, 21
18 Ac efe a feddiannodd faes gobrwy anwiredd, ac 1 Cor. 6, 27
wedi ymgrogi efe a dorrodd yn ddwy ran yn ei ganol,
a'i holl ymysgaroedd a dywalltwyd allan.
19 Ac y mae hyn yn eglur i holl breswyl-wyr Ieru-
salem, hyd oni elwir y maes hwn, a'u tafod priodol
hwy, Aceldama, hyn yw, Maes y gwaed.
20 Canys scrifennedic yw yn llyfr y Psalmau, bydd-
ed ei drigfan ef yn ddiffaeth, ac na bydded a drigo
ynddi, a chymmered arall ei escobaeth ef.
21 Am hynny y mae yn rhaid (o'r gwyr a fu yn ein
cymdeithas ni yr holl amser yr aeth yr Arglwydd Iesu
i mewn ac allan yn ein plith ni,
22 Gan ddechreu o fedydd Ioan, hyd y dydd yn yr
hwn y cymmerwyd ef i fynu oddi wrthym ni) bod un
gyd â ni yn dyst o'i ailgyfodiad ef. l Pen. 15; 22
23 l Ac hwy a osodasant ddau ger bron, Ioseph yr
hwn a henwid Bersabas ac a gyfenwid Iustus, a Matthias. Marc 6 3
24 A chan weddio hwy a ddywedasant, Tydi Ar-
glwydd yr hwn a wyddost galonnau pawb, dangos pa
un o'r ddau hyn a etholaist,
25 m I dderbyn swydd y weinidogaeth hon, a'r Apos- m 1 Tim 4
tolaeth o'r hon y cyfeiliornodd Iudas, i fyned i'w le 10
ei hun.
26 n Ac hwy a fwriasant goel-brennau, ac ar Mat- n 1 Sam.
thias y syrthiodd y coel-bren, ac efe a gyfrifwyd gyd 10, 20
â'r un apostol ar ddec. Diar. 16, 33

PEN. I. Adn. 12] "Taith diwrnod Sabboth." Cymaint ag oedd o eithaf pebyll Israel hyd at babell y cyfarfod. Dim teithio ar y Sabboth, ond i'r addoliad! gwae y sawl a dry y Sabboth yn ddydd marchnad!

## PEN. II.

*Yr Yspryd Glân yn dyfod ar ddull tafodau, 7 Gweithred yr Yspryd Glân. 14 Petr yn atteb yn erbyn cabl-wyr yr Yspryd. 41. Cynnydd yr eglwys: buchedd, ac ymddygiad y ffyddloniad.*

oNum 28, 26 WEDI o dyfod dydd y Pentecost yr oeddynt hwy
Seph.2,9 oll yn gytun yn yr un-lle.
2 Ac yn ddisymwth fe ddaeth swn o'r nef, fel gwth
gwynt yn rhuthro, ac a lanwodd yr holl dŷ lle yr oedd-
ynt yn eistedd.
3 A thafodau gwahannedic a ymddangosasant iddynt
fel tân, ac efe a eisteddodd ar bob un o honynt.
pEph. 4, 4 p A hwy a gyflawnwyd oll o'r Yspryd Glân, ac a
8 ddechreuasant lefaru â thafodau eraill megis y rhoddes
Marc 16, 17 yr Yspryd iddynt lefaru.
5 Ac yr oedd yn trigo yn Ierusalem Iddewon buch-
eddol, o bob cenedl dan y nef.
6 Wedi myned y gair o hynn, y daeth lliaws yng-
hyd, ac a synnodd, o blegit bod pawb yn eu clywed
hwy yn llefaru yn ei dafod-iaith ei hun.
q Ioan 1, 7 q Synnodd hefyd ar bawb, a rhyfeddu a wnaethant
46 a 7,52 gan ddywedyd wrth eu gilydd, Wele onid yw y rhai
hyn oll sy yn llefaru o Galilæa?
8 Pa wedd gan hynny yr ydym ni yn eu clywed
hwynt, pawb yn ein tafod-iaith ein hunain yn yr hon
ein ganed ni?
9 Parthiaid, Mediaid, Elamidiaid, a thrigolion Meso-
potamia, ac Iudæa, a Chappadocia, a Phontus, ac Asia,
10 Phrygia, a Phamphilia, yr Aipht, a rhannau
Libya yr hon sydd ger-llaw Cyrene, a dieithriaid o
Rufein-wyr, yn Iddewon, ac yn Broselytiaid,
rPen. 27, 11 r Cretiaid ac Arabiaid, yr ydym ni yn eu clywed
7 Tit. 1, 5 hwynt yn traethu mawrion weithredoedd Duw, yn ein
tafod-iaith ein hun.
12 A hwy a ryfeddasant eu gyd oll, ac a synnasant
gan ddywedyd y naill wrth y llall, Beth a all hyn fod?
sMat 12, 13 s Ac eraill yn gwatwar a ddywedasant, mai llawn
23 Luc 22,39 o win melus oeddynt hwy.
1Cor 2,11 14 Eithr Petr yn sefyll gyd a'r un ar ddec, a gyfod-
odd ei leferydd, ac a ddywedodd wrthynt, O wyr,
Iddewon, a chwi oll sydd yn trigo yn Ierusalem, bydded
yspysol hyn i chwi, a chlustymwrandewch a'm geiriau:
15 Canys nid yw y rhai hyn yn feddwon fel yr ydych
chwi yn tybied, o blegid y drydedd awr o'r dydd
yw hi.
tIoel2,28 16 Eithr dymma y peth a ddywedpwyd trwy y pro-
phwyd Ioel:
17 Ac fe fydd yn y dyddiau diweddaf (medd Duw)
y tywalltaf o'm hyspryd ar bob cnawd, a'ch meibion
a'ch merched a brophwydant, a'ch gwyr ieuaingc a
welant weledigaethau, a'ch hynafgwyr a freuddwyd-
iant freuddwydion.
18 Ac ar fyng-weision, ac ar fy llaw-forwynion y
tywalltaf o'm Hyspryd yn y dyddiau hynny, a hwy a
brophwydant.
uMat 24, 19 u Ac mi a roddaf ryfeddodau yn y nef uchod, ac
29 arwyddion yn y ddaiar isod, gwaed, a thân, a tharth
mwg.
vMal.4,5 20 v Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lloer yn waed,
Dan 7,14 cyn i ddydd mawr ac eglur yr Arglwydd ddyfod.
21 A bydd: pwy bynnag a alwo ar enw yr Arglwydd
fydd yn gadwedic.
w1Tim.2 22 w Ha wyr Israel, clywch y geiriau hyn, Iesu hwn-
5 nw o Nazareth gwr profedic gan Dduw yn eich plith
Mat.11,3 trwy weithredoedd nerthol, a rhyfeddodau, ac arwydd-
ion, y rhai a wnaeth Duw trwyddo ef yn eich mysg
chwi, fel y gwyddoch chwi,
23 Hwn wedi ei roddi trwy derfynedic gyngor a
rhagwybodaeth Duw, a gymerasoch chwi: ac wedi i
chwi trwy ddwylo anwir ei hoelio, a laddasoch chwi.
24 x Yr hwn a gyfodes Duw i fynu gan ryddhau xRhuf.1, 4
gofidiau angeu, canys amhossibl oedd i hwnnw ei Luc 24,5
attal ef.
25 O blegit Dafydd a ddywed am dano, Yr Arglwydd
a welais ger fy mron yn oestad: sef ar fy neheulaw y
mae fel na'm yscoger.
26 y Am hynny y llawenhaodd fyng-halon, ac y gor- yRhuf 8,
foleddodd fy nhafod, ac y gorphwys fyng-nhawd hefyd 31
mewn gobaith:
27 Am na adewi fy enaid yn uffern, ac na oddefi i'th
Sanct weled llygredigaeth.
28 z Gwnaethost yn hyspys i mi ffyrdd y bywyd: z Ier. 10,
Ti am cyflawni o lawenydd a'th wyneb-[pryd.] 23 Mat.7,13
29 Ha wyr frodyr, mi a gaf yn hyf ddywedyd wrth-
ych am y patriarch Dafydd, ei farw ef, a'i gladdu, a
bod ei feddrod gyd â ni hyd y dydd heddyw.
30 Am hynny ac efe yn brophwyd, ac yn gwybod
dyngu o Dduw lŵ, mai o ffrwyth ei lwyn ef o herwydd
y cnawd y cyfode efe Grist i eistedd ar ei orseddfa ef,
31 Ac efe yn gwybod o'r blaen a ddywedodd am gy-
fodiad Crist, Na adawsid ei enaid yn uffern, ac na
welse ei gnawd lygredigaeth:
32 a Yr Iesu hwn a gyfododd Duw i fynu, i'r hyn yr a1Cor.15
ydym ni oll yn dystion. 15
33 Gan ei gyfodi ef fel hyn drwy ddeheulaw Duw,
ac iddo dderbyn gan y Tad yr addewid am yr Yspryd
glan, efe a dywalltodd yr hyn ymma a welwch, ac a
glywch y pryd hyn.
34 b O blegit ni dderchafodd Dafydd i'r nefoedd, ond bLuc 23, 43
y mae efe yn dywedyd ei hun, Yr Arglwydd a ddyw- Salm110,
edodd wrth fy Arglwydd, eistedd ar fy neheu-law, 1
35 Oni osodwyf dy elynion yn droed-faingc i'th draed.
36 c Am hynny gwybydded holl dŷ Israel yn ddiogel cPhil. 2, 9
ddarfod i Dduw ei wneuthur ef yn Arglwydd, ac yn 1Tim. 6,
Grist, sef yr Iesu hwn a groeshoeliasoch chwi. 15
37 d Wedi clywed y geiriau hyn y cydbigid hwy yn dHeb. 4,
eu calonnau, ac y dywedasant wrth Pedr, a'r apostol- 12
ion eraill, Ha wŷr frodyr, beth a wnawn ni?
38 Yna y dywedodd Petr wrthynt, Edifarhewch, a
bedyddier pawb o honoch yn enw yr Iesu Grist er
maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch ddawn
yr Yspryd Glan.
39 e Canys i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, i eGal.3,7
bawb ym mhell, pa rai bynnac a alwo yr Arglwydd Rhuf.9,8
ein Duw ni.
40 Ac â llawer o ymadroddion eraill y testiolaethodd
ac y cynghorodd, gan ddywedyd, Ymgedwch rhag y
genhedlaeth anhydyn hon.
41 f Am hynny y rhai a dderbyniasant yn ewyllyscar fMarc13, 23
ei air ef, a fedyddiwyd, a chwanegwyd at [yr eglwys] Salm110,
y dydd hwnnw yng-hylch tair mil o eneidiau. 3
42 g Ac yr oeddynt yn parhau yn athrawiaeth yr ap- Dat. 6, 2
ostolion, â chymdeithas, ac yn torri bara, ac mewn gMat. 28, 20
gweddiau. Heb. 10, 25
43 Ac ofn a gyfodes ar bawb, a llawer o ryfeddodau
ac arwyddion a wnaethpwyd gan yr apostolion.
44 h A phawb ar a gredasant oeddynt yn un lle, a h1Cor. 5, 4
phob peth ganddynt yn gyffredin. Phil. 2, 4
45 i Ac hwy a werthasant eu meddiannau, a'u da, ac iMat. 19,
a'u rhannasant i bawb, fel yr oedd yr eisieu ar neb. 21

46 Ac yr oeddynt yn parhau beunydd yn y Deml yn
gytun, gan dorri bara o dŷ i dŷ, a chau gymmeryd
bwyd mewn llawenydd, a symledd calon:
j1 Cor. 3, 47 j Gan foli Duw a chael ffafor gan yr holl bobl, a'r
6 Rhuf. 8, Arglwydd a chwanegodd at yr Eglwys beunydd y rhai
30 a fyddent gadwedig.

## PEN. III.

*Iachâad y cloff efrydd. 12. Petr yn pregethu Crist.*

k Ioan 20, PETR k hefyd ac Ioan a aethant i fynu i'r Deml
4 yng-hyd, ar yr awr weddi, [sef] y nawfed.
l Ioan 5. 3 2 l A rhyw wr, yr hwn oedd gloff o groth ei fam, a
a 9. 1, 3 ddygid, yr hwn a ddodent beunydd wrth borth y Deml
Ioan 10, yr hwn a elwid [y porth] prydferth, i ofyn elusen gan
26 y rhai a elent i mewn i'r Deml.
3 A phan welodd efe Petr ac Ioan ar fyned i'r Deml,
efe a ddeisyfiodd gael elusen.
4 A Phetr yn dal sulw arno gyd ag Ioan a ddywed-
odd, Edrych arnom ni.
5 Ac efe a graffodd arnynt, gan obeithio derbyn
rhyw beth ganddynt.
m Mat. 10 6 m Yna y dywedodd Petr, Arian ac aur nid oes gen-
9 aif, eithr yr hyn sydd gennif, hynny yr wyf yn ei
Marc 16, roddi i ti: yn enw yr Iesu Grist o Nazareth, cyfod a
17 Mat. 7, 22 rhodia.
7 A chan ei gymmeryd erbyn ei ddeheulaw efe a'i
cyfododd ef i fynu, ac yn ebrwydd ei draed ef a'i fferau
a gadarnhawyd.
8 A chan neidio i fynu efe a safodd, ac a rodiodd,
ac a aeth gyd â hwy i'r Deml, gan rodio a neidio, a
moli Duw.
9 A'r holl bobl a'i gwelodd ef yn rhodio, ac yn moli
Duw.
n Mat. 9, 10 n Ac yr oeddynt yn ei adnabod ef, mai efe oedd
33 y neb a eisteddase wrth borth prydferth y Deml am
a 12, 23 elusen, ac hwy a lanwyd o ofn a synedigaeth, am y
peth a ddigwyddase iddo.
11 Ac fel yr oedd yr efrydd hwnnw a iachausid, yn
attal Petr ac Ioan, y rhedodd yr holl bobl yn syn-
edig attynt i'r porth a elwir [porth] Salomon.
o Ioan 15, 12 o A phan welodd Petr hyn, efe a attebodd y bobl,
5 O wyr o Israel, pa ham yr ydych yn rhyfeddu am hyn?
a pha ham yr ydych yn hulldremmu arnom ni, fel pe
trwy ein nerth neu ein duwioldeb ni y gwnaethem i
hwn gerdded?
p Phil. 1, 13 p Duw Abraham, ac Isaac, ac Iacob, Duw ein tad-
9 Eph. 1. 20 au ni, a ogoneddodd ei Fab Iesu, yr hwn a fradych-
Ioan 19, asoch chwi, ac a wadasoch ger bron Pilat, pan farnodd
5 efe ef i'w ryddhau.
Mat. 16, 14 Eithr chwi a wadasoch y Sanct, a'r cyfiawn, ac a
1 ddeisyfiasoch roddi i chwi wr [a oedd] yn llofrudd.
Ioan 11, 15 q A chwi a laddasoch dywysog y bywyd, yr hwn
5 a godes Duw o feirw, o'r hyn yr ydym ni yn dystion.
Eph. 14, 16 r A thrwy ffydd yn ei enw ef, y nerthodd ei enw
Marc 11, ef hwn, yr hwn a welwch, ac a adwaenoch: sef y ffydd
yr hon [sydd] drwyddo ef, a roes iddo ef yr iechyd hwn
yn eich gŵydd chwi oll.
Tim. 1, 17 s Ac yn awr frodyr mi a wn i chwi wneuthur
Mat. 12, [hynny] trwy anwybod: fel y [gwnaeth] eich pende-
32 figion chwi hefyd.
23, 34 18 Eithr y pethau a ragfynegodd Duw trwy enau ei
brophwydi oll, y dioddefe Crist, a gyflawnodd efe fel
hyn.
19 t Am hynny edifarhewch, a dychwelwch, fel y
t. 2, 14 Ioan 1, 7 dileuer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd i or-

phywys o olwg yr Arglwydd,
20 u A phan anfono efe Iesu Grist yr hwn a bregeth- u Luc 19,
wyd o'r blaen i chwi, 12 1 Tim. 6,
21 Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, hyd yr am- 15
seroedd yr adnewyddir pob peth, y rhai a ddywedodd
Duw o'r blaen drwy enau ei holl sanctaidd brophwydi
ef er ioed.
22 v Canys Moses a ddywedodd wrth y tadau, Yr Ar- v Deut 18
glwydd eich Duw a gyfyd i chwi brophwyd o'ch bro- 15
dyr fel myfi: arno ef y gwrandewch ym mhob peth a
ddyweto wrthych.
23 Canys bydd, pa enaid bynnac ni wrandawo ar y
prophwyd hwnnw, efe a ddestruwir o blith y bobl.
24 A'r holl brophwydi hefyd o Samuel, ac o hynny
allan, cynnifer ac a lefarasant, a fynegasant o'r blaen
am y dyddiau hyn.
25 Chwy-chwi ydych blant y prophwydi a'r cyfam-
mod, yr hwn a wnaeth Duw a'n tadau ni, gan ddywed-
yd wrth Abraham, Yn dy had ti hefyd y bendithir holl
dylwythau y ddaiar.
26 w Duw gan gyfodi ei Fab Iesu, a'i gyrodd ef i w Eph. 1
chwi yn gyntaf i'ch bendithio fel, y troech bob un o 3 Gal. 3, 9,
honoch oddi wrth eich drygioni. 14

## PEN. IV.

*Carchar yr apostolion. 8. Pregeth Petr. 19. Atteb yr ap-ostolion i'r swyddogion. 24. Gweddi, ac undeb yr eg-lwys.*

AC fel yr oeddynt yn llefaru wrth y bobl, yr offeir-
iaid a llywydd y Deml, a'r Saducæaid a ddaeth-
ant arnynt hwy.
2 Ac yr oedd yn flin ganddynt eu bod yn dyscu y
bobl, ac yn pregethu yn [enw] yr Iesu yr adgyfodiad
o feirw.
3 x Ac hwy a osodasant ddwylo arnynt hwy, ac a'u x Mat. 10,
dodasant mewn dalfa hyd trannoeth, herwydd hwyr 17 Ioan 16, 1,
oedd erbyn hynny. 2
4 y Eithr llawer o'r rhai a glywsent y gair a gredas- y Pen. 2
ant, a rhifedi y gwyr a wnaed yng-hylch pum mil. 34 Mat. 16,
5 z A digwyddodd drannoeth ddarfod i'w llywod- 18
raeth-wyr hwy, a'r henuriaid, a'r scrifennyddion, ym- z Rhuf. 3,
gynnull i Ierusalem, 15 Ioan 7, 48
6 Ac Annas yr arch-offeiriad, a Chaiphas, ac Ioan, Mat. 27, 1
ac Alexander, a chymaint oll ac oeddynt o genedl yr Dat. 17, 14
arch-offeiriaid.
7 a Ac wedi iddynt eu gosod yn y canol, hwy a ofyn- a Mat. 12,
asant, Trwy ba awdurdod, neu yn mha enw y gwnaeth- 48
och chwi hyn?
8 Yna Petr yn gyflawn o'r Yspryd Glan a ddywed-
odd wrthynt, [Chwy-chwi] bennaethiaid y bobl, a
henuriaid Israel,
9 b Od ydys yn ein holl ni heddyw, am [y] weithred b 1 Pedr 4
dda i'r dyn claf, [sef] pa wedd yr iachauwyd ef, 13
10 c Bydded yspysol i chwi oll, ac i bawb o bobl c Rhuf.
Israel, mai trwy enw Iesu Grist o Nazareth yr hwn a 11, 36
groes-hoeliasoch chwi, a'r hwn a gyfodes Duw o feirw:
trwy hwn y safodd hwn ger eich bron chwi.
11 Dymma y maen hwnnw a lyswyd gennych chwi
yr adeilad-wyr, ac a wnaed yn ben i'r gongl.
12 d Ac nid oes iechydwriaeth yn neb arall, o blegit d 1 Tim. 2
ni roddwyd enw arall dan y nef ym mhlith dynion 5
drwy yr hwn y mae yn rhaid ein hiachau. Ioan 14 6 Rhuf. 5,
13 e A phan welsant hyder Pedr ac Ioan, a gwybod 24 e Mat. 26,
eu bod yn annlythyrennog, ac yn annyscedig, rhyfeddu 69
a wnaethant, ac hwy a wyddent eu bod hwy gyd â'r M at. 14,
Iesu. 53

14 Ac wrth weled hefyd y dyn a iachausid yn sefyll
gyd â hwynt, ni allent ddywedyd dim yn [eu] herbyn:
15 Eithr wedi gorchymyn iddynt fyned allan o'r
gynghorfa, hwy a ymgynghorasant yn eu plith eu
hunain,
fRhuf.2, 15 16 f Gan ddywedyd, Beth a wnawn ni i'r dynion hyn?
canys arwydd eglur a wnaed trwyddynt hwy, yr hwn
sydd hysbys i bawb a'r sydd yn presswylio yn Ierusa-
lem, ac ni allwn ni wadu.
g1Tim.2 13 Ioan 3, 9 17 g Eithr rhag ei danu ym mhellach ym mysg y
bobl, bygythiwn hwynt yn dost, na lefarant mwy wrth
neb yn yr enw hwn.
18 Ac hwy a'u galwasant hwy, ac a orchymynasant
na lefarent, ac na ddyscent ddim oll yn enw yr Iesu.
hHeb. 4, 13 19 h Eithr Petr ac Ioan a'u hattebasant, ac a ddywed-
asant wrthynt, Pa un sydd gyfiawn ger bron Duw, ai
gwrando arnoch chwi, ynte yn hytrach ar Dduw?
bernwch chwi.
i1Cor. 9, 16 20 i Canys ni allwn na ddywedom y pethau a welsom,
ac a glywsom.
j1Tim. 4, 17 Mat. 14 5 21 j Ac hwythau gan eu bygwth a'u gollyngasant heb
gael neb i'w cospi hwynt, o blegit y bobl, am fod pawb
oll yn gogoneddu Duw am yr hyn a wnaethid.
22 Canys yr oedd y dyn uwch-law deugain oed, ar yr
hwn y gwnaethid yr arwydd iechydwriaeth.
23 A hwynt wedi eu gollwng ymmaith a ddaethant
at yr eiddynt, ac a ddangosasant y pethau a ddywed-
ase yr arch-offeiriaid a'r henuriaid wrthynt.
24 Hwythau pan glywsant, a gyfodasent eu lleferydd
o un-fryd at Dduw, ac a ddywedasant, O Arglwydd
ty di yw y Duw yr hwn a wnaethost nef a daiar, y môr
ac oll y sydd ynddynt.
kSalm 2, 1, 2 25 k Yr hwn trwy yr Yspryd Glân yng-enau dy was
Dafydd, a ddywedaist, Pa ham y terfyscodd y Cenhedl-
oedd, ac y myfyriodd y bobl oferedd?
lDat. 17, 14 a 16,13,14 26 l Y safodd brenhinoedd y ddaiar i fynu, ac yr ym-
gasclodd y pennaethiaid yng-hyd, yn erbyn yr Argl-
wydd, ac yn erbyn ei Grist ef?
mLuc 23 11 27 m Canys mewn gwirionedd yn y ddinas hon yr
ymgynhullodd yn erbyn dy Sanct Fab Iesu, yr hwn a
eneiniaist, Herod, a Phontius Pilat gyd â'r Cenhedl-
oedd, a phobl Israel,
28 I wneuthur beth bynnac a ddarfu i'th law di, a'th
gyngor eu rhagderfynu i'w gwneuthur.
nEph. 6, 19 29 n Ac yn awr, Arglwydd, edrych ar eu bygythion
hwy, a chaniadhâ i'th weision draethu dy air di, â phob
hyder.
oMarc 16 17 30 o Trwy estyn o honot dy law i iachau, ac fel y
1Cor. 15, 20 gwneler arwyddion a rhyfeddodau trwy enw dy sanct-
2Cor. 3 5 aidd Fab Iesu,
pMat.18, 11 31 p Ac wedi iddynt weddio, y lle yr oeddent wedi
ymgynnull ynddo a symmudodd, ac hwy a lanwyd oll
o'r Yspryd Glân, ac hwy a draethasant air Duw yn
hyderus.
qRhuf 15 4 32 q Ac i'r lliaws a oedd yn credu yr oedd un galon,
ac un enaid, ac ni ddywedodd yr un o honynt am yr
hyn a fedde, ei fod yn ei eiddo ei hun, ond pob peth
oedd rhyngddynt yn gyffredin.
rRhuf.1, 16 a 15, 19 33 r A'r apostolion trwy nerth mawr a roddasant
destiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu, a gras
mawr oedd arnynt hwy oll.
s1Ioa. 3, 17 Iago 1,27 34 s Canys nid oedd neb yn eu plith, ac eisieu arno,
sef pob un a'r a oedd yn perchennogi tiroedd neu dai,
a'u gwerthasant, ac a ddugasant werth y pethau a
werthasid,
35 Ac ai gosodasant wrth draed yr apostolion: a
rhannwyd beunydd i bawb yn ol ei eisieu.
36 t Yna Ioseph yr hwn a gyfenwid Barnabas gan yr tPen. 11, 19
apostolion (yr hyn yw o'i gyfieithu mab y diddanwch)
yn Lefiad, ac o genedl yn Cypriad,
37 u Ac efe yn berchen tir a'i gwerthodd, ac a ddug uMat.19, 19
yr arian, ac a'i gosodes wrth draed yr apostolion. a 10, 9, 10

## PEN. V.

*Cosp am gelwydd,* 12. *a chyssegr-ledrad Ananias a'i wraig,*
14. *Cynnydd yr eglwys.* 17. *Carchar yr apostolion,* 19.
*yr angel yn eu gwaredu,* 20. *hwyntau yn pregethu.* 34.
*Cyngor Gamaliel.*

Yr v oedd rhyw wr a'i enw Ananias gyd â Sapphira v2Tim. 3 20
ei wraig a werthase dir, Pen.8,13,
2 w Ac a ddarn-guddiodd [ran] o'r gwerth, a'i wraig 18
yn gwybod, ac a ddug y rhan arall, ac a'i gosododd w1Tim.6 10
wrth draed yr apostolion. Esec.33,
3 x Yna y dywedodd Petr, Ananias, pa ham y llan- 31 2Tim.3 6
wodd Satan dy galon i beri i ti ddywedyd celwydd x Iob 13,
wrth yr Yspryd Glân, a darn-guddio [rhan] o werth y 27 a 8, 44
tir? Esa 29,15
4 y Tra yr ydoedd yn aros, onid i ti yr oedd yn aros? Salm94,7
ac wedi ei werthu, onid oedd yn dy feddiant ti? a pha yDiar.20 25
ham y gosodaist dy feddwl ar y peth hyn? ni ddyw-
edaist di gelwydd wrth ddynion, ond wrth Dduw.
5 z Pan glybu Ananias y geiriau hyn, efe a syrthiodd z1Cor.10
i lawr, ac a drengodd: a daeth ofn mawr ar bawb a 5
glybu hyn.
6 A'r gwyr ieuaingc a gyfodasant, ac a'i cymmerasant
ef, ac a'i dugasant, ac a'i claddasant.
7 Yna y bu megis yspaid tair awr, a'i wraig a ddaeth
i mewn, heb wybod dim a'r a wnaethid.
8 Yna y dywedodd Petr wrthi, Dywet i mi, ai er hyn
a hyn y gwerthasoch chwi y tir? hithe a ddywedodd,
Ie er hynny.
9 a A Phetr a ddywedodd wrthi, Pa ham y darfu i aGen.3,6
chwi gydtuno rhyngoch i demtio Yspryd yr Ar- 2Cor. 10, 9
glwydd? edrych wrth y drws [ôl] traed y rhai a
gladdasant dy wr di, a hwy a'th ddygant dithe allan.
10 Ac yna yn y man hi a syrthiodd wrth ei draed ef,
ac a drengodd, a'r gwyr ieuaingc a ddaethant i mewn,
ac a'i cawsant hi yn farw, ac a'i cyfodasant, ac a'i
claddasant yn ymyl ei gwr.
11 Ac ofn mawr a gyfodes ar yr holl eglwys, ac ar
bawb oll a glybu hyn.
12 b Eithr drwy ddwylaw yr apostolion y gwnaed bMarc16
arwyddion, a llawer o ryfeddodau yn mhlith y bobl, 17, 18
ac yr oeddynt oll yn gytun ym mhorth Salomon.
13 c Ond ni feiddie neb o'r lleill ymgyssylltu â hwynt, cIoan 18,
eithr y bobl oedd yn eu mawrhau. 44 Luc 5, 8
14 d A lliaws o'r rhai a gredasant yn yr Arglwydd yn a 1. 46
wŷr a gwragedd a gynnyddasant fwy-fwy. 2Cor. 10, 15
15 e Hyd oni ddygent y cleifion i'r heolydd a'u gosod dEsa. 33
mewn gwelyau a glythau, fel y cyscode cyscod Petr 14 Gal. 3 28
rai o honynt pan ddel efe [heibio.] Pen. 10,
16 f A lliaws a ddaeth hefyd yng-hyd o'r dinasoedd 34 eMat.9.2
cyfagos i Ierusalem gan ddim rhai cleifion, a rhai a Ioan14,12
drallodid gan ysprydion aflan, y rhai a iachauwyd oll. Pen. 19, 12
17 Yna y cyfodes yr arch-offeiriad, a phawb oll a'r a fMat.10,
oedd gyd ag ef, (yr hon yw heresi y Saducæaid) ac yr 1 Luc 6,18
oeddynt yn llawn llid.
18 g Ac hwy a ddodasant eu dwylo ar yr Apostolion, gPen.4.3
ac a'u rhoesant yn y carchar cyffredin. a 16, 23, 24
19 Eithr angel yr Arglwydd o hyd nos, a agorodd

ddrysau y carchar, ac a'u dug hwynt allan, ac a ddywedodd,

h Pen. 13, 46 20 h Ewch a sefwch yn y deml, a lleferwch wrth y bobl oll, eiriau y fuchedd hon.

i Ioan 7, 48 Mat. 11, 25 21 i Pan glywsant hwy y pethau hyn, hwy a aethant yn foreu i'r Deml, ac a ddyscasant; a'r arch-offeiriad a ddaeth, a'r rhai oeddynt gyd ag ef a alwasant yng-hyd y cyngor, a holl henuriaid plant yr Israel, ac a ddanfonasant i'r carchar i beri eu dwyn hwy [ger bron.]

22 A phan ddaeth y swyddogion, ni chawsant hwy yn y carchar, eithr hwy a ddychwelasant, ac a fynegasant,

23 Gan ddywedyd, Yn wir ni a gawsom y carchar wedi ei gaeu o'r fath siccraf, a'r ceidwaid yn sefyll allan gyferbyn a'r drysau, eithr pan agorasom, ni chawsom neb i mewn.

j Rhuf. 2, 15 24 j Pan glybu yr arch-offeiriad, a llywodraethwyr y Deml, a'r offeiriaid pennaf yr ymadroddion hyn, ammau a wnaethant yn eu cylch hwy, beth a ddoe o hyn.

25 Yna y daeth un ac a fynegodd iddynt, gan ddywedyd, Wele, y mae y gwyr a ddodasoch yng-harchar yn sefyll yn y Deml, ac yn dyscu y bobl.

k Pen. 4, 21 Dat. 12, 16 26 k Yna yr aeth y penswyddog, efe a'i swyddwyr, ac a'u dug hwy yn ddi anfodd (o blegit yr oedd arnynt ofn y bobl rhag eu llabyddio):

l Ioan 19, 6, 20 27 l A wedi eu dwyn hwy, y gosodwyd hwy o flaen y cyngor, a'r arch-offeiriad a ofynnodd iddynt,

m Mat. 27 24 28 m Gan ddywedyd, Oni rybuddiasom chwychwi yn fynych na phregethech yn yr enw hwnnw? ac wele, chwi a lanwasoch Ierusalem a'ch athrawiaeth, ac a fynnwch ddwyn arnom ni waed y dyn hwnnw.

n Ex. 1 17 29 n Yna Petr a'r Apostolion gan atteb a ddywedasant, Rhaid yw ufyddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion.

o Rhuf. 1, 4 30 o Duw ein tadau ni a gyfododd i fynu Iesu yr hwn a laddasoch chwi, ac a groes-hoeliasoch ar bren.

p Phil. 2 9 Pen. 11 18 31 p Hwn a dderchafodd Duw a'i ddehaulaw, yn dywysog, ac yn iachawdur i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau.

Rhuf. 4 25 q Pen. 10 39 32 q A nyni ydym dystion iddo o'r pethau hyn a'r Yspryd Glân hefyd, yr hwn a roddes Duw i'r rhai a ufuddhant iddo ef.

r Pen. 7 54 33 r Pan glywsant hwythau hyn, hwy a ffrommasant, ac a ymgynghorasant am eu lladd hwynt.

Gen. 22 s Pen. 22 3 34 s Yna y cyfododd yn y cyngor un Pharisæad, ai enw Gamaliel, doctor o'r gyfraeth, parchedig gan yr holl bobl, ac a archodd fyned allan a'r Apostolion dros ennyd fechan.

35 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ha-wyr o Israel, edrychwch arnoch eich hunain, pa beth a wneloch am y dynion hyn.

Mat. 24 t Thes. 2 at 1 3 5 Thes 2 36 t Canys cyn hynn o amser y cyfodes un Theudas yn dywedyd ei fod yntef yn rhyw un mawr, ac at hwn yr ymgasclodd rhifedi o wyr yng-hylch pedwar cant, ac ef a laddwyd, a hwynt oll a oeddynt yn coelio iddo a wascarwyd, ac a wnaed yn ddiddim.

Luc 2 1 37 u Yn ol hwn y cyfodes Iudas o Galilæa yn amser y deyrn-ged, ac efe a droes lawer o bobl ar ei ol, efe hefyd a ddarfu am dano, a chymmaint oll ac a gytunasant ag ef a wascarwyd.

Mat. 21 38 v Am hynny yn awr meddaf wrthych, Peidiwch â'r dynion hyn, a gadewch iddynt: canys os o ddynion y mae hyn o gyngor neu weithred, efe a ddiflana.

39 w Ac os o Dduw y mae, ni ellwch chwi ei ddatod ef, rhag eich cael yn rhyfelwyr yn erbyn Duw. w Mat. 16 18

40 A chytuno ag ef a wnaethant, ac wedi iddynt alw yr Apostolion attynt, a'u curo, hwy a orchymynnasant iddynt na lefarent yn enw yr Iesu, ac a'u gollyngasant ymmaith.

41 x Hwythau a aethant allan o olwg y cyngor yn llawen, am eu cyfrif hwynt yn deilwng i ddwyn ammarch er mwyn enw yr Iesu. x Mat. 5 12 Phil 1 29

42 y A beunydd yn y Deml, ac o dŷ i dŷ, ni pheidiasant â dyscu, ac â phregethu Iesu Grist. y Gal 6 9

## PEN. VI.

*Urddiad saith o ddiaconiaid yn yr eglwys, dysc Stephan, 11 A'i gyhuddiad.*

YN z y dyddiau hynny pan amlhaodd y discyblion y cyfodes murmur gan y Groegiaid yn erbyn yr Hebræaid, am ddirmygu eu gwragedd gweddwon hwy, yn y weinidogaeth feunyddol. z Mat 13 31 Mat13 33

2 a Yna'r deuddec a alwasant yng-hyd y lliaws discyblion, ac a ddywedasant: nid yw gymhesur i ni adel gair Duw, a gwasanaethu byrddau. a Rhuf 12 11 1 Thes 5 22

3 b Am hynny frodyr, edrychwch yn eich plith am saith o wyr o air da, llawn o'r Yspryd Glân, a doethineb, y rhai a osodom yn hyn o orchwyl. 2 Tim 2 4 1 Cor 9 16 b 2 Cor 1 24

4 c Eithr nyni a barhawn mewn gweddi, a gweinidogaeth y gair. 1 Tim 3 7 c 2 Tim 4

5 d A boddlon fu gan yr holl dyrfa yr ymadrodd ymma, a hwy a etholasant, Stephan gwr llawn o ffydd ac o'r Yspryd Glân, a Philip, a Phrochorus, a Nicanor, a Thimon, a Pharmenas, a Nicholas y proselyt o Antiochia. 8 d Pen 21 8 Dat 2 15

6 Y rhai a osodasant hwy ger bron yr Apostolion, ac wedi iddynt weddio, hwy a osodasant eu dwylo arnynt hwy.

7 e Yna y cynnyddodd gair Duw, ac yr amlhaodd rhifedi y discyblion yn ddirfawr yn Ierusalem, a llawer o'r offeiriaid a ufuddhasant i'r ffydd. e 1 Tim 1 13

8 Eithr Stephan yn llawn ffydd, a nerth, a wnaeth ryfeddodau a gwyrthiau mawr ym mysc y bobl.

9 f Yna y cyfodes rhai o'r synagog a elwir Libertiniaid, a Cyreniaid, ac o Alexandria, ac o'r rhai sy o Cilicia, ac Asia, ac a ymddadleuasant â Stephan. f Pen 13 45 a 22 23 a 17 18

10 g Ac ni allent wrthwynebu y doethineb, na'r Yspryd, drwy yr hwn yr ymadroddodd efe. g Mat 10 19

11 h Yna y gosodasant wyr i ddywedyd, Nyni a'i clywsom ef yn dywedyd geiriau cablaidd yn erbyn Moses a Duw. h Mat 26 59

12 Ac hwy a gyffroasant y bobl, a'r henuriaid, a'r scrifenyddion, ac a ruthrasant iddo, ac a'i cippiasant ef, ac a'i dugasant at y cyngor.

13 i A hwy a osodasant gau dystion y rhai a ddywedent: nid yw y dyn hwn yn peidio a dywedyd cabl eiriau yn erbyn y lle sanctaidd hwn, a'r gyfraith: i Salm 35 11 Pen 21 21

14 j Canys nyni a'i clywsom ef yn dywedyd, Yr Iesu hwn o Nazareth a ddestruwia y lle yma, ac a newidia y defodau a roddes Moses i ni. j Salm 56 5 Luc19 43

15 A phan edrychodd y rhai oeddynt yn eistedd yn y cyngor arno ef oll, hwy a welent ei wyneb fel wyneb angel.

## PEN. VII.

*Atteb Stephan, 58. A'i labyddiad.*

YNA y dywedodd yr arch-offeiriad, A ydyw y pethau hyn felly?

2 k Yntef a ddywedodd, Ha-wyr, frodyr a thadau, gwrandewch: Duw y gogoniant a ymddangosodd i'n k Salm 29 3 Mat 6 13

tad Abraham pan oedd ym Mesopotamia, cyn iddo
drigo yn Charran,
l Gen 12 1 3 l Ac a ddywedodd wrtho, Dos allan o'th wlad, ac
Dat 18 4 oddi wrth dy dylwyth, a thyret i'r tir yr hwn a ddang-
oswyf i ti.
4 Yna y daeth efe allan o dir y Caldeaid, ac y pre-
swyliodd yn Charran: yn ol hynny wedi marw ei dad,
efe a'i dug ef oddi yno i'r tir ymma yn yr hwn yr
ydych chwi yn preswylio yr awr hon.
5 m Ac ni roes iddo etifeddiaeth ynddo, na ddo led
m Gen 12 7 troed, ac efe a addawodd ei ddodi iddo i'w feddiannu,
ac i'w had yn ei ol, pryd nad oedd plentyn iddo.
n 1 Pedr 2 11 6 n A Duw a lefarodd fel hyn, Dy had di a fydd
drigiannol mewn tir estron, lle y caethiwir, ac y dygir
ef bedwar cant mhlynedd.
o Heb 13 4 7 o Eithr y genhedlaeth yr hon a wasanaethant a
gospaf fi (medd Duw,) ac wedi hynny yr ânt allan,
ac a'm gwasanaethant i yn y lle hwn.
p Gen 17 10 a 21 3 8 p Ac efe a roddes iddo gyfammod yr enwaediad, ac
felly [Abraham] a genhedlodd Isaac, ac a'i henwaed-
odd ef yn yr wythfed dydd: ac Isaac a genhedlodd
Iacob, ac Iacob a genhedlodd y deuddec Patriarch.
q Gen 37 28 9 q A'r Patrieirch gan genfigennu a werthasant Io-
seph i'r Aipht: ond yr oedd Duw gyd ag ef,
Preg 4 4 Gen 39 2 10 r Ac a'i hachubodd ef o'i holl gyfyngderau, ac a
r Salm 34 19 roes iddo hawddgarwch a doethineb yng-olwg Pharao
a 105 21 brenin yr Aipht, ac efe a'i gwnaeth ef yn llywodraeth-
wr ar yr Aipht, ac ar ei holl dŷ.
s Salm 105 16 11 s Ac fe ddaeth newyn dros holl dir yr Aipht a
Preg 9 2 Chanaan, a gorthrymder mawr, a'n tadau ni chaent
lynniaeth.
t Gen 42 1 Salm 34 10 12 t Ond pan glybu Iacob fod ŷd yn yr Aipht, yn
gyntaf efe a ddanfonodd ein tadau ni:
u Gen 45 4 13 u A'r ail waith yr adnabuwyd Ioseph gan ei frodyr,
Salm 30 5 a chenedl Ioseph a aeth yn hyspys i Pharao.
14 Yna yr anfonodd Ioseph, ac a gyrchodd ei dad
Iacob a'i holl genedl, pymthec enaid a thrugain.
v Gen 49 33 15 v Yna y daeth Iacob i wared i'r Aipht, ac efe a
fu farw a'n tadau hefyd.
w Ioan 4 5 16 w Ac hwy a symmudwyd i Sichem, ac a ddodwyd
Ios 24 32 yn y bedd yr hwn a brynase Abraham er arian gan
feibion Emor [tad] Sichem.
x Gen 15 13 17 x A phan nesaodd amser yr addewid yr hwn a
Ex 1 7 dyngase Duw i Abraham, y bobl a gynnyddodd, ac a
amlhaodd yn yr Aipht:
18 Hyd oni gyfodes brenin arall, yr hwn nid adwaene
m'o Ioseph.
19 Hwn a fu ddichellgar wrth ein cenedl ni, ac a
ddrygodd ein tadau, gan beri iddynt fwrw allan eu
plant fel na heppilient.
y Deut 32 20 y Y pryd hyn y ganwyd Moses yr hwn oedd
36 hawddgar gan Dduw, ac a fagwyd dri mis yn nhŷ
Heb 11 23 ei dad:
z Dat 12 16 21 z Ac wedi ei fwrw allan, merch pharao a'i cyfodes
ef i fynu, ac ai magodd ef yn fab iddi ei hun.
a Luc 24 19 22 a A Moses oedd ddyscedic yn holl ddoethineb
yr Aiphtiaid, ac oedd nerthol mewn geiriau a gweith-
redoedd.
23 A phan oedd efe yn ddeugain mlwydd llawn
o oed, daeth yn ei feddwl ef ymweled â'i frodyr blant
yr Israel.
b Ex 2 11 24 b A phan welodd efe un yn cael cam, efe a'i ham-
ddiffynnodd, ac a ddialodd gam yr hwn a orthrymasid
c Barn 13 21 gan daro yr Aipht-wr.
Mat 13 58 25 c Ac efe a dybiase fod ei frodyr yn deall, gan fod

Duw yn dodi iechydwriaeth iddynt trwy ei law ef,
eithr hwynt ni ddeallasant.
26 d A'r dydd nesaf yr ymddangosodd efe iddynt, a d Ex 2 13
hwynt yn cynhenu, ac a fynnase wneuthur cymmod Mat 5 9
rhyngddynt, gan ddywedyd, Ha wyr, brodyr ydych Gen 13 8
chwi, pa ham y gwnewch gam â'i gilydd? 1 Cor 6 7
27 Eithr yr hwn oedd yn gwneuthur cam â'i gym-
mydog, ai cilgwthiodd ef gan ddywedyd, Pwy a'th
osododd di yn dywysog, ac yn farn-wr arnom ni?
28 A leddi di fyfi, fel y lleddaist yr Aiphtiwr ddoe?
29 e Yna y ffoes Moses ar y gair hwnnw, ac y bu e Mat 10
ddieithr yn nhir Madian: lle y cenhedlodd efe ddau o 23
feibion.
30 f Ac wedi cyflawni daugain mhlynedd yr ymddang- f Heb 3
osodd angel yr Arglwydd iddo mewn fflam dân [mewn] Ex 3 4 5 a 23 18
perth yn anialwch mynydd Sina.
31 A Moses pan welodd, a fu ryfedd ganddo y golwg,
a phan nessaodd efe i ystyried, fe a ddaeth llef yr Ar-
glwydd atto ef [gan ddywedyd,]
32 Myfi yw Duw dy dadau, Duw Abraham, Duw
Isaac, a Duw Iacob, a Moses a ddychrynnwyd, ac ni
feiddie ei ystyried.
33 g Yna y dywedodd yr Arglwydd wrtho, Dattod dy g Ios 5 5
escidiau oddi am dy draed, canys y lle yn yr hwn yr 2 Pedr 1
wyt yn sefyll sydd dir sanctaidd. 18
34 h Gan weled y gwelais ddryg-fyd fy mhobl y rhai h Mat 9
sy yn yr Aipht, ac mi a glywais eu griddfan, ac mi a 36 Ier 23 24
ddescynnais i'w gwared hwy, tyret tithe yn awr mi
a'th anfonaf di i'r Aipht.
35 i Y Moses ymma yr hwn a wrthodasant gan ddy- i 1 Cor 3 6
wedyd, Pwy a'th roddes di yn dywysog, ac yn farn- 8
wr? hwn a anfonodd Duw yn dywysog, ac yn wared-
wr trwy law yr angel, yr hwn a ymddangosodd iddo
yn y berth.
36 Hwn a'u harweiniodd hwynt allan, gan wneuthur
rhyfeddodau a gwyrthiau yn nhir yr Aipht, ac yn y
Môr coch, ac yn y diffaethwch ddeugain mhlynedd.
37 j Dymma y Moses, yr hwn a ddywedodd wrth j Deut 18
feibion yr Israel, Yr Arglwydd eich Duw a gyfyd i chwi 15
brophwyd o'ch brodyr, fel myfi, gwrandewch hwnnw.
38 k Hwn yw efe a fu yn y gynnulleidfa yn y diffaeth- k Salm 19
wch gyd â'r angel yr hwn a ymddiddanodd âg ef ym 7
mynydd Sina, ac â'n tadau ni, yr hwn a dderbyniodd
ymadroddion bywiol i'w rhoddi i ni,
39 Yr hwn ni fyne ein tadau fod yn ufudd iddo, eithr
gwrthodasant [ef,] a throasant yn eu calonnau i'r Aipht.
40 Gan ddywedyd wrth Aaron, Gwna i ni dduwiau
i'n blaenori ni, o blegit ni wyddom ni beth a ddarfu i'r
Moses ymma yr hwn a'n dug ni allan o wlad yr Aipht.
41 l Ac hwy a wnaethant lo yn y dyddiau hynny, ac l 1 Bren 12
a offrymmasant aberth i'r ddelw, ac a ymlawenhasant 28
yng-weithredoedd eu dwylo. Ex 32 6
42 m Yna y trodd Duw, ac a'u rhoddes hwy i fynu i m 2 Cron.
wasanaethu llu y nef: fel y mae yn scrifennedig yn 15 2 Bren. 17
llyfr y prophwydi: A offrymmasoch chwi i mi ebyrth, 6
ac offrymmau yn yr anialwch ddeugain mlynedd, Amos 5,
[chwi] tŷ Israel? 25
43 n A chwy-chwi a gymmerasoch babell Moloch, a n 1 Bren.
seren eich duw Remphan, lluniau y rhai a wnaethoch 11, 5
i'w haddoli, minne a'ch symmudaf chwi tu hwnt i
Babilon.
44 Yr oedd Tabernacl y destiolaeth ym mhlith ein
tadau yn yr anialwch, fel y gorchymynnase yr hwn a
ddywedase wrth Moses am ei wneuthur ef yn ol y
portreiad a welse.

oHeb. 4. 45 ° Yr hwn a ddarfu i'n tadau ni ei gymmeryd, a'i
8 Salm44,3 ddwyn i mewn gyd ag Iesu i berchennogaeth y cen-
hedloedd, y rhai a ddarfu i Dduw eu taflu allan o flaen
ein tadau, hyd yn nyddiau Dafydd,
pSalm 78 46 p Yr hwn a gafodd ffafor ger bron Duw, ac a ddy-
70,71 munodd gael tabernacl i Dduw Jacob.
q 1Bren. 47 q Eithr Salomon a adailadodd dŷ iddo ef.
6,1,2 48 Ond nid yw y Goruchaf yn trigo mewn temlau o
waith dwylo, fel y dywed y prophwyd :
49 Y nef [yw] fyng-orsedd-faingc, a'r ddaiar yw
troedfaingc fy nrhaed. Pa dŷ a adailedwch i mi, medd
yr Arglwydd, a pha le fydd i'm gorphwysfa i?
50 Ond fy llaw i a wnaeth hyn oll?
rDeut.10 51 r O chwi a'r gwarrau sythion, a'r galon, ac a'r
16 clustiau ddienwaedol, yr ydych chwi yn oestad yn
Eph.4,30 gwrthwynebu yr Yspryd Glân, megis eich tadau, felly
chwithau.
sMat. 23 52 s Pa un o'r prophwydi ni ddarfu i'ch tadau chwi
34 ei erlid? ac hwy a laddasant y rhai oeddynt yn rhag-
Esa. 53, fynegu dyfodiad y Cyfiawn, i'r hwn y buoch chwi
11 frad-wyr a llofruddion.
53 Y rhai a gymmerasoch y gyfraith drwy ordinhad
angelion, ac ni's cadwasoch.
54 A phan glywsant y pethau hyn, ffrommasant yn
eu calonnau, ac escyrnygasant ddannedd arno.
tHeb.13, 55 t Ac efe yn gyflawn o'r Yspryd Glân, a edrychodd
5 yn ddyfal tu â'r nef, ac a welodd ogoniant Duw, ac
tCron.20 Iesu yn sefyll ar ddeheu-law Duw.
15
uMat. 3, 56 u Ac efe a ddywedodd, Wele, mi a welaf y nef-
16 oedd yn agored, a Mab y dyn yn eistedd ar ddeheu-
Eph.1,20 law Duw.
vMat.26, 57 v Yna y gwaeddasant â llef fawr, ac y caeasant eu
65 clustiau, ac y rhuthrasant ar un-waith arno.
wPen.22 58 w Ac a'i bwriasant allan o'r ddinas, ac a labyddias-
20 ant: a'r tystion a roddasant eu dillad wrth draed dyn
ieuangc a elwid Saul.
59 A hwy a labyddiasant Stephan, ac efe yn galw ar
[Dduw,] ac yn dywedyd, Arglwydd Iesu derbyn fy
yspryd.
xMat. 5, 60 x Ac efe a ostyngodd ar ei liniau, ac a lefodd â
44 llef uchel, Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu
Luc 23, herbyn: ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a hunodd.
34

## PEN. VIII.

*Creulondeb Saul.* 4. *Gwascaru yr apostolion.* 15. *Dodi yr Yspryd Glân,* 18. *Am Simon Magus.* 38. ***Philip yn bedyddio yr efnuch.***

yIoan 16, A SAUL y oedd yn cyduno i'w ladd ef, a'r pryd
2 hynny y bu erlid mawr ar yr eglwys, yr hon oedd
yn Ierusalem: a phawb a wascarwyd trwy wlad Iudæa
a Samaria, ond yr apostolion.
zGen.50, 2 z A gwyr bucheddol a gyd-ddugasant Stephan, ac
10 a wnaethant alar mawr am dano ef.
3 Eithr Saul oedd yn anrheithio yr eglwys, gan
fyned i mewn i bob tŷ, a chan dynnu allan wyr, a
gwragedd, efe a'u rhoddes yngharchar.
a1Cor.15 4 a A'r rhai a wascarasid, a dramwyasant gan breg-
9 ethu y gair.
b1Cor. 2 5 b Yna yr aeth Philip i ddinas Samaria, ac a breg-
3 ethodd Grist iddynt.
cIob 5,13 6 c A'r bobl yn gytunol a ddaliodd ar y pethau a
16 ddywede Philip wrthynt, gan glywed a gweled yr
arwyddion a wnaethe efe.
dMat.10, 7 d Canys yr ysprydion aflan a aethant allan o lawer
1 o'r rhai yr oeddynt yn eu perchennogi, gan lefain â
llef uchel: a llawer yn gleifion o'r parlys, ac yn gloff-

ion a iachawyd.
8 e Ac yr oedd llawenydd mawr yn y ddinas honno. eSalm 19, 8
9 f Yna yr oedd rhyw wr a'i enw Simon, yr hwn a fDat. 17,
arferase o'r blaen swyno yn y ddinas honno, ac a 4
hudase bobl Samaria: gan ddywedyd ei [fod] ei hun Ez. 7,11
yn rhyw un mawr.
10 Ar yr hwn yr oedd pawb o'r lleiaf i'r mwyaf yn
gwrando, gan ddywedyd, Mawr rinwedd Duw yw hwn.
11 g Ac yr oeddynt a'u coel arno, o herwydd iddo gLuc 11,
yn hir o amser eu hudo hwy â swynion. 21,22
12 Eithr, cyn gyflymmed ac y credasant i Philip yn
pregethu y pethau a berthynent i deyrnas nef, ac i
enw Iesu Grist, hwy a fedyddiwyd, yn wyr ac yn
wragedd.
13 h Ac yntef Simon a gredodd hefyd, ac a fedydd- hMat.12,
iwyd, ac a ddilynodd Philip, ac fe synnodd arno wrth 20,21 Rhuf. 9,
weled gwneuthur rhyfeddodau a gwrthiau mawrion. 28
14 i A phan glybu yr apostolion y rhai oeddynt yn iThes. 3,
Ierusalem dderbyn o Samaria air Duw, hwy a anfon- 2,3
asant attynt Petr ac Ioan.
15 Y rhai wedi iddynt ddyfod a weddiasant trostynt,
ar dderbyn o honynt yr Yspryd Glân.
16 j O blegit ni ddaethe efe etto ar yr un o honynt, jMat. 28
ond hwy a fedyddiasid yn unic yn enw yr Arglwydd 19
Iesu.
17 Yna y dodasant eu dwylaw arnynt, ac hwy a
dderbyniasant yr Yspryd Glân.
18 A phan ganfu Simon mai trwy osodiad dwylaw'r
apostolion y rhoddid yr Yspryd Glân, efe a gynnyg-
iodd iddynt arian:
19 k Gan ddywedyd, Rhoddwch i minne hefyd yr k1Cor.12
awdurdod hon, fel ar bwy bynnac y gosodwyf fy 4,5
nwylo y derbynio efe yr Yspryd Glân,
20 Eithr Petr a ddywododd wrtho, Bydded dy arian
gyd â thi, i ddestruw, am i ti dybied y meddiennir
dawn Duw trwy arian.
21 Nid oes i ti na rhan, na chyfran yn y gorchwyl
hyn: o blegit nid yw dy galon di yn iniawn ger bron
Duw.
22 Edifarhâ gan hynny am dy ddrygioni hyn, a
gweddia Dduw, ac fe faddeuir ond odid i ti feddyl-
fryd dy galon.
23 l Canys mi a'th welaf mewn bustl chwerwder, ac l2Tim. 2
mewn rhwymedigaeth anwiredd. 26
24 m A Simon gan atteb a ddywedodd, Gweddiwch mRhuf. 2
chwi drosof fi ar yr Arglwydd, na ddelo dim arnaf o'r 15
hyn a ddywedasoch.
25 n Eithr hwynt hwy wedi iddynt dystio a llefaru nIoan 4,
gair yr Arglwydd, a ddychwelasant i Ierusalem, ac a 35
bregethasant yr Efengyl yn llawer o drefi Samaria.
26 o Ac angel yr Arglwydd a lefarodd wrth Philip oPen. 9,
gan ddywedyd, Cyfot, a dos tu a'r deau, i'r ffordd yr 10 a 10, 5
hon sydd yn myned i wared o Ierusalem i Gaza: yr
hon sydd anghyfannedd.
27 p Ac efe a gyfododd ac a aeth, ac wele ryw efnuch pGal. 3,
o Ethiopia, rhaglaw Cadaces brenhines yr Ethiopiaid, 28
yr hwn oedd yn llywodraethu ei holl dryssor hi: ac Phil.4,21
a ddaethe i Ierusalem i addoli.
28 q Ac fel yr oedd efe yn dychwelyd gan eistedd yn qCol.3,16
ei gerbyd, efe a ddarllennodd Esay y prophwyd.
29 r Yna y dywedodd yr Yspryd wrth Philip, Dos yn rPen. 13,
nes, ac ymwasc â'r cerbyd yma. 2 Dan.9,21
30 A Philip a redodd atto, ac a'i clybu yn darllen y
prophwyd Esay, ac a ddywedodd, A wyt ti yn deall
yr hyn yr wyt yn ei ddarllen?

sRhuf.10 31 [s] Ac efe a ddywedodd, Pa wedd y gallaf oni bydd
14 rhyw un i'm cyfarwyddo? ac efe a ddymunodd ar
1 Cor. 1, Philip ddyfod i fynu, ac eistedd gyd âg ef.
21 tEsa. 53, 32 [t] A'r lle o'r Scrythur yr oedd efe yn ei ddarllen
5, 7 oedd hwn, efe a arweinid fel dafad i'r lladdfa, ac fel
Ioan18,13 oen mud ger bron ei gneifiwr, felly nid agorodd efe ei
enau.
uPhil. 2, 33 [u] Yn ei ostyngiad y derchafwyd ei farn, a phwy
8, 9 Pen.3,24 a draetha ei oes ef, canys dygir ei fywyd oddi ar y
ddaiar.
34 Yna yr attebodd yr efnuch wrth Philip, ac a ddy-
wedodd, Am bwy attolwg i ti y dywed y prophwyd
hyn, ai am dano ei hun, ai am ryw un arall?
v1Cor. 2 35 [v] Yna yr agores Philip ei enau, ac a ddechreuodd
2 ar y scrythur honno, ac a bregethodd iddo yr Iesu.
wRhuf.1 36 [w] Ac fel yr oeddynt yn myned ar hyd y ffordd,
16 hwy a ddaethant at ryw ddwfr, a'r efnuch a ddywed-
odd, Wele ddwfr, beth sydd yn lluddio fy medyddio?
xMat.7,6 37 [x] A Philip a ddywedodd, Os wyt yn credu o'th
1 Pedr 3 holl galon, fe a ellir: a chan atteb, y dywedodd, Yr
15 wyf yn credu fod Iesu yn Fab Duw.
yMat. 3, 38 [y] Ac efe a orchymynnodd attal y cerbyd ac hwy
16 a aethant i wared ill dau i'r dwfr, Philip a'r efnuch, ac
efe a'i bedyddiodd ef.
zRhuf.5, 39 [z] Ac wedi iddynt ddyfod i fynu o'r dwfr, Yspryd
1 yr Arglwydd a gymmerth Philip ymmaith, ac ni wel-
odd yr efnuch mo honaw mwyach, ond efe a aeth ar
hyd ei ffordd yn llawen.
40 [a] A Philip a gaed [eil-waith] yn Azotus, ac efe a
aIos. 11, 22 aeth drwy y wlad, ac a bregethodd ym mhob dinas
Mat.9,37 oni ddaeth i Cæsarea.

## PEN. IX.

*Saul yn troi i'r ffydd.* 33. *Petr yn iachau Aeneas.* 40. *Ac yn cyfodi Tabitha.*

A Saul etto yn chwythu bygythiadau a chelanedd
yn erbyn dyscyblion yr Arglwydd, a aeth at
arch-offeiriad:
2 Ac a deisyfiodd lythyrau ganddo i Ddamascus at
y Synagogau, fel o chae efe na gwyr na gwragedd
yn bod o'r ffydd hon, y galle efe eu dwyn yn rhwym
i Ierusalem.
bEzec.16 3 [b] Ac fe ddarfu (fel yr oedd efe ar ei daith) iddo
6 Ioan 1, 9 ddyfod yn gyfagos i Ddamascus, ac fe a lewyrchodd
o'i amgylch yn ddisymmwth oleuni o'r nef.
4 [c] Ac efe a syrthiodd ar y ddaiar ac a glybu lais yn
cMat.25, 40 dywedyd wrtho, Saul, Saul, pa ham yr ydwyt yn fy
1Cor. 12, erlid i?
12 d1Tim.1 5 [d] Yntef a ddywedodd, Pwy wyt ti Arglwydd? a'r
13 Arglwydd a ddywedodd, Myfi yw Iesu yr hwn yr wyt
ti yn ei erlid, anhawdd yw i ti wingo yn erbyn y
swmbwl.
6 Yntef yn crynu, ac yn ofni a ddywedodd, Ar-
glwydd beth a fynni di i mi i'w wneuthur? a'r Ar-
glwydd a ddywedodd, Cyfot dos i'r ddinas, ac fe
a ddywedir i ti pa beth a fydd rhaid i ti ei wneuthur.
ePen.26, 7 [e] A'r gwyr y rhai oeddynt yn cyd-deithio âg ef, a
14 safasant yn synn, gan glywed y llais, ac heb weled
neb.
f2Bren.6 8 [f] A Saul a gyfododd oddi ar y ddaiar, a phan agor-
19 Iob 5, 15 odd efe ei lygaid, ni wele efe neb: eithr hwy a'i
tywysasant ef erbyn ei law, ac a'i dugasant ef i mewn
i Ddamascus.
g2Cor.12 9 [g] Ac efe a fu dri-diau heb weled, ac ni wnaeth na
2 bwyta nac yfed.
10 Ac yr oedd yn Damascus ryw ddiscybl a'i enw
Ananias, wrth yr hwn y dywedodd yr Arglwydd
mewn gweledigaeth: Ananias, ac yntef a ddywedodd,
Wele fi Arglwydd.
11 A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Cyfod a dos
i'r heol a elwir Iniawn, a chais yn nhŷ Iudas un a'i
enw Saul o Tharsus: canys wele, y mae yn gweddio. hSalm 50
12 [h] Ac yntef a wele drwy weledigaeth wr a'i enw 15
Ananias yn dyfod i mewn, ac yn dodi ei ddwylaw Dan9,20
arno, fel y gwele eil-waith.
13 Yna yr attebodd Ananias, O Arglwydd, clywais
gan lawer am y gwr hwnnw, faint o ddrygau a wnaeth
efe i'th saint di yn Ierusalem. iEx. 4,10
14 [i] Hefyd y mae ganddo awdurdod oddi wrth yr Rhuf.10,
arch-offeiriad i rwymo pawb a alwo ar dy enw. 14
15 [j] A dywedodd yr Arglwydd wrtho, Dos ymaith, j2Tim. 2
canys y mae hwn yn llestr etholedic i mi, i ddwyn fy 20 Rhuf. 15
enw ger bron y cenhedloedd, a brenhinoedd, a phlant 16, 19
Israel.
16 Canys mi a ddangosaf iddo, pa bethau eu maint y
bydd rhaid iddo ef eu dioddef er mwyn fy enw i.
17 [k] Yna Ananias a aeth ymmaith, ac a aeth i mewn kPen.22
i'r tŷ, ac a osododd ei ddwylo arno, ac a ddywedodd, 17 1Cor. 15,
Y brawd Saul, yr Arglwydd Iesu a'm hanfonodd (yr 8
hwn a ymddangosodd i ti ar y ffordd wrth ddyfod)
fel y gwelech eil-waith ac i'th lanwer â'r Yspryd Glân. l2Cor. 3,
18 [l] Ac yn ebrwydd y descynnodd oddi wrth ei olwg 14
megis cenn, ac efe a gafodd ei olwg yn y man, ac efe a Phil.3,4,
gyfododd, ac a fedyddiwyd. 8
19 [m] Ac wedi iddo gymmeryd bwyd, efe a gryfhaodd, m1Tim.5
yna y bu Saul ennyd o ddyddiau gyd â'r discyblion y 23 Col. 2, 19
rhai oeddynt yn Damascus.
20 [n] Ac efe yn ebrwydd a bregethodd Grist yn y Syn- n Gal. 1,
agogau, mai Mab Duw ydoedd efe. 23
21 [o] A phawb a'r a'i clybu ef a synnasant, ac a ddy- oMat. 3,
wedasant; Ond dymma efe yr hwn oedd yn difetha y 54, 55 Pen. 8,3
rhai a alwent ar yr enw hwn yn Ierusalem, ac a ddaeth
ymma er mwyn hyn [sef] i'w dwyn hwynt yn rhwym
at yr arch-offeiriaid?
22 [p] Eithr Saul a gynnyddodd fwy-fwy o nerth, ac a pMat. 13
orchfygodd yr Iddewon y rhai oeddynt yn presswylio 11 Tit. 1,14
yn Damascus, gan gadarnhau mai hwn yw Crist.
23 Ac wedi cyflawni llawer o ddyddiau, y cyd-ym-
gynghorodd yr Iddewon am ei ladd ef:
24 [q] Eithr eu cydfwriad hwy a wybu Saul, a hwy a q2Cor 11 32
ddisgwyliasant y pyrth ddydd a nos i'w ladd ef. Iob 5, 13
25 [r] Yna y discyblion a'i cymmerasant ef o hyd nos, rMat.10,
ac a'i danfonasant dros y mur gan ei ollwng i wared 23
mewn basced.
26 [s] A phan ddaeth Saul i Ierusalem, efe a geisiodd sMat. 10,
ymwascu â'r discyblion, ac yr oeddynt oll yn ei ofni 17
ef, heb gredu ei fod efe yn ddiscybl.
27 [t] Eithr Barnabas a'i cymmerodd ef, ac a'i dug at tPen3,13
yr Apostolion, ac a fynegodd iddynt pa fodd y gwelse Eph.6,19
efe yr Arglwydd ar y ffordd, ac ymddiddan o honaw
âg ef: ac mor hyderus fuase efe yn Damascus yn enw
yr Iesu.
28 Ac yr oedd efe yn myned i mewn, ac allan gyd â uRhuf.1,
hwynt yn Ierusalem: 15
29 [u] Ac a lefarodd yn eofn yn enw yr Arglwydd Iesu,
ac efe a ymddiddanodd ac a ymddadleuodd yn erbyn
y Groeg-wyr. a hwynt a geisiasant ei ladd ef:
30 [v] Yr hwn beth pan wybu y brodyr, hwy a'i dug- vEph. 4,
asant ef i Cæsarea, ac a'i gyrrasant ef i Tharsus. 5
31 [w] Yna yr oedd yr eglwysi yn cael heddwch trwy wDat 18 2. Salm
holl Iudæa, Galilæa, a Samaria, a hwy a adeiladwyd 125, 3

gan rodio yn yr Arglwydd, ac a amlhauwyd drwy
ddiddanwch yr Yspryd Glan.
x Gal.2,7 32 x Bu hefyd i Petr, fel yr oedd yn trammwy trwy
9 bob [gwlad] iddo ef ddyfod hefyd at y sainct y rhai
oeddynt yn trigo yn Lyda.
y Pen.3,8 33 y Ac yno y cafodd efe ryw wr a'i enw Aeneas, yr
Mat 9.20 hwn a fuase wyth mlynedd yn gorwedd yn ei wely, ac
oedd yn glaf o'r parlys.
34 A Phetr a ddywedodd wrtho, Ananias: Iesu Grist
sydd i'th iachau, cyfot, a gwna dy wely, ac efe a gyf-
ododd yn ebrwydd.
z Esa.35, 35 z A phawb a'i gwelodd o'r rhai a breswylient yn
2 Ioan 12, Lyda a Saron, ac a ymchwelasant at yr Arglwydd.
32 36 Hefyd yr oedd yn Ioppa ryw ddiscybles a'i henw
Tabitha, (yr hon os cyfieithir a elwir Dorcas) yr hon
oedd gyfoethog o weithredoedd da, ac elusenau y rhai
a wnaethe hi.
a 1Cor.15 37 a Ac fe a ddarfu y dyddiau hynny iddi hi o glefyd
29 Heb.9,12 farw, ac wedi iddynt ei golchi, hwy ai dodasant mewn
llofft.
1 Ioan 11, 38 b Ac o herwydd bod Lyda yn agos i Ioppa, y dis-
3 Heb.11, cyblion (yn clywed fod Petr yno) a anfonasant ddau
1 wr atto ef, i ddeisyf, nad oede efe ddyfod hyd attynt
hwy.
c Pen. 8, 39 c A Phetr a gyfodes, ac a ddaeth gyd â hwynt, ac
2 1 Thes. 4, wedi iddo ddyfod, hwy a'i dugasant i'r llofft, ac yr
13 Diar. 10, oedd yr holl wragedd gweddwon yn sefyll o'i amgylch
7. a 22, 1 yn wylo, ac yn dangos y peisiau a'r gwiscoedd a
wnaethe Dorcas tra ydoedd hi gyd â hwynt.
d Mat. 9, 40 d Yna Petr a'u bwriodd hwynt allan oll, ac a os-
25 tyngodd ar ei liniau, a c a weddiodd, ac a droes at y
2 Bren. 4, corph, ac a ddywedodd, Tabitha, cyfot, ac hi a agor-
33 odd ei llygaid, a phan welodd hi Petr, hi a eisteddodd
i fynu.
e 1Cor. 1, 41 e Ac efe a roddodd ei law iddi, ac a'i cyfododd hi i
9 1 Cor.9, 2 fynu, ac efe a alwodd y sainct, a'r gwragedd gwedd-
won, ac efe a'i danghosodd hi yn fyw.
42 A [hyn] fu hyspys dros holl Ioppa, a llawer a
gredasant yn yr Arglwydd.
f Sal. 15, 4 43 f A bu i Petr aros yn Ioppa lawer o ddyddiau gyd
Luc 10, ag un Simon barcer.
38

## PEN. X.

*Gweledigaeth Cornelius. 11. Gweledigaeth Petr. 18 Petr yn myned at Cornelius. 34. Yn pregethu i'r Cenhedloedd, ac am ddescyn o'r Yspryd Glan arnynt. 44. Yn eu bedyddio hwynt.*

z Gen. 18 YR oedd rhyw wr Cæsarea a'i enw Cornelius can-
19 wriad o'r hon a elwid yr Italaidd fyddin.
Jos 24 15 2 g [Gwr] sanctaidd, yn ofni Duw yng-hyd â'i holl
1 Thes. 5, dŷ, ac yn rhoddi llawer o elusenau i'r bobl:
17 h Dan. 9, 3 h Ac efe yn gweddio Duw yn oestadol, a welodd yn
21 eglur mewn gweledigaeth yng-hylch y nawfed awr o'r
dydd, angel Duw yn dyfod i mewn, ac yn dywedyd
wrtho, Cornelius.
i Heb.13, 4 i Ac yntef yn craffu arno ef, ac wedi ei ofni a ddy-
16 Dat. 8, 3 wedodd, Beth yw [hynny] Arglwydd, ac efe a ddyw-
edodd wrtho, Dy weddiau, a'th elusenau a dderchafas-
ant yn goffadwriaeth ger bron Duw.
5 Ac yn awr anfon di wyr i Ioppa, a galw am Simon
yr hwn a gyfenwir Petr.
6 Efe sydd yn lleteua gyd ag un Simon barcer, tŷ 'r
hwn sydd wrth y mor: efe a ddywed i ti pa beth a
Ioan 1, ddylit ei wneuthur.
16 Phil. 4, 7 j A phan ymadawodd yr angel yr hwn oedd yn
12 ymddiddan â Chornelius, efe a alwodd ar ddau o'i

weision, a mil-wr duwiol o'r rhai oeddynt yn ei was-
anaethu ef.
8 Pan fynegodd efe iddynt hwy bob peth, efe a'u
hanfonodd hwynt i Ioppa.
9 k A thranoeth fel yr oeddynt hwy yn ymdeithio, k Mat. 6, 6
ac yn nessau i'r ddinas, Petr a aeth i fynu ar y tŷ i 1 Tim. 2,
weddio yng-hylch y chweched awr. 8 Dan. 6,6
10 l Ac fe a ddaeth arno ef newyn mawr, ac efe a l Dat. 1,
chwennyche gael bwyd, ac a hwynt yn paratoi iddo, 10
fe syrthiodd arno ef lewyg. 2 Cor. 12, 1, 2
11 m Ac efe a wele y nef yn agored, a rhyw lestr yn m Mat. 8,
descyn arno fel llen-lliain fawr, wedi rhwymo ei 11
phedair congl, ac wedi ei gollwng hyd y ddaiar:
12 n Yn yr hon yr oedd holl anifeiliaid pedwar car- n Lef. 1,2
nol y ddaiar, a'r bwyst-filod, a'r ymlusciaid, ac ehed- Mat. 15,
iaid y nef. 48
13 Ac fe ddaeth llef atto: Cyfot Petr, lladd, a bwyta.
14 o A Phetr a ddywedodd, Nid felly Arglwydd: o Rhuf.14
canys ni fwyteais i er ioed ddim cyffredin nac aflan. 2 1 Cor. 13,
15 A'r llef [a ddywedodd] wrtho yr ail waith, Y 9
peth a lanhaodd Duw na alw di yn gyffredin. Deut. 14,
16 A hyn a wnaed dair gwaith, a derbynniwyd y 7
llestr eil-waith i'r nef.
17 Ac yna yr oedd Petr yn ammau ynddo ei hun,
pa beth oedd y weledigaeth yr hon a welse: wele y
gwŷr a anfonasid atto oddi wrth Cornelius, a ddaeth-
ant hyd y porth, gan ymofyn am dŷ Simon:
18 Ac wedi iddynt alw, hwy a ofynnasant, A oedd p Luc 1,
Simon yr hwn a gyfenwyd Petr yn lleteua yno? 29 Pen. 11,
19 p Fel yr oedd Petr yn meddwl am y weledigaeth, 12 Ioan 16,
y dywedodd yr Yspryd wrtho, Wele dry-wyr yn dy 13
geisio: Esa.31.21
20 q Am hynny cyfot, dos i wared, ac yn ddiammau q Rhuf.14 5, 23
cerdda gyd a hwynt, am i mi eu hanfon hwynt. Mat. 10,
21 r Yna y descynodd Petr at y gwŷr a anfonasid 16 Amos 7,
atto oddi wrth Cornelius, ac a ddywedodd, Wele, 15
myfi yw yr hwn yr ydych chwi yn ei geisio, beth yw r Mat.16,
yr achos am yr hon y daethoch? 24
22 s Hwythau a ddywedasant, Cornelius y canwriad, s Phil.4 8
gwr cyfiawn, yn ofni Duw, ac a gair da iddo gan holl 2 Cor. 5,
genedl yr Iddewon, a rybuddiwyd gan yr angel 20
sanctaidd, i ddanfon am danat iw dŷ, ac i wrando
geiriau gennit ti.
23 t Am hynny efe a'u galwodd hwynt i mewn, ac t Heb.13,
a'u lleteuodd: a thrannoeth yr aeth Petr ymmaith gyd 2
â hwy, a rhai o'r brodyr o Ioppa a aethant gyd ag ef.
24 u A thrannoeth yr aethant i mewn i Cæsarea, ac u 1Cor.13
yr oedd Cornelius yn disgwil am danynt, ac efe a 4 Mat.9.10
alwase ei geraint a'i annwyl gyfeillion. Ioan 4,29
25 Ac fe ddarfu fel yr oedd Petr yn dyfod i mewn,
ddyfod o Gornelius i gyfarfod ag ef, ac efe a syrthiodd
wrth ei draed ef, ac a addolodd.
26 v Eithr Petr ai cyfododd ef i fynu, gan ddywedyd, v Pen.14,
Cyfot, dyn wyf finne hefyd. 15
27 A thann ymddiddan ag ef, efe a ddaeth i mewn,
ac a gafodd lawer wedi ymgynnull yng-hyd.
28 w Ac efe a ddywedodd wrthynt, Chwychwi a w Ioan 4,
wyddoch nad yw gyfreithlon i Iddew ymwascu, neu 9 2 Cor. 6,
nesau at alltud: eithr Duw a ddangosodd i mi, na alwn 14
neb yn gyffredin neu yn aflan. Ioan 18, 28
29 Am hynny y daethym attoch yn ddi-nag, o her- Eph.2,12
wydd pa ham y gofynnaf, Am ba achos y danfonasoch
am danaf?
30 x A dywedodd Cornelius, Er ys pedwar diwrnod x Mat. 6,
hyd yr awr hon o'r dydd yr oeddwn yn ymprydio, ar 16

y nawfed awr y gweddiais yn fy nhŷ; ac wele, fe a
safodd gwr ger fy mron â gwisc ddisclaer,
31 Ac a ddywedodd, Cornelius, dy weddiau di a wrandawyd,
a'th elusenau ŷnt mewn coffa ger bron Duw.
32 Am hynny anfon i Ioppa, a galw ymma Simon,
yr hwn a gyfenwir Petr, y mae hwn yn lleteua yn nhŷ
Simon y barcer, yng-lann y môr, yr hwn pan ddelo
y Pen 22, attat, a lefara i ti.
22 33 [y] Yna y danfonais yn ebrwydd attat, a thi a wnaeth-
Mat. 13, ost yn dda am ddyfod; ac yr awr hon yr ydym ni oll
51 ger bron Duw, i wrando o honom bob peth a'r a or-
chymynwyd i ti gan Dduw.
z Sal. 15.2 34 [z] Yna yr agorodd Petr ei enau, ac a ddywedodd,
Rhuf. 14, Yn wir, yr wyf yn deall nad yw Duw yn derbyn wy-
17 neb neb.
a Gal. 5,6 35 [a] Eithr ym mhob cenhedlaeth y neb a'i hofno ef,
Col. 3, 11 ac a wnelo gyfiawnder, sydd gymmeradwy ganddo ef.
b Eph. 2 36 [b] Yr hwn ymadrodd a ddanfonodd Duw i feibion
14 Luc 2,14 yr Israel, gan bregethu tangneddyf yn Iesu Grist, yr
Phil. 2,8 hwn sydd Arglwydd pawb oll.
c Mat. 4, 24 37 [c] Chwy-chwi a wyddoch y peth a fu yn holl Iudæa,
Pen. 19,3 gan ddechreu yn Galilæa, wedi y bedydd a bregeth-
odd Ioan,
d Ioan 3, 34 38 [d] Y modd y darfu i Dduw eneinio Iesu o Nazareth
1 Tim. 3, â'r Yspryd Glân, ac â nerth, yr hwn a gerddodd o am-
16 Col. 2.9 gylch gan wneuthur gweithredoedd da, ac iachau pawb
a'r a oeddynt wedi eu dwyn tann feddiant diafol: canys
Duw oedd gyd ag ef.
e 2 Thes, 2 39 [e] Ac yr ydym ni yn dystion o'r pethau oll a wnaeth
15 efe yng-wlad yr Iddewon, ac yn Ierusalem, yr hwn a
laddasant hwy, ac a grogasant ar bren:
f Rhuf 1,4 40 [f] Hwnnw a ddarfu i Dduw ei gyfodi y trydydd
Luc 24 27 g Ioan 20 dydd, ac a wnaeth ei fod yn amlwg,
24 41 [g] Nid i'r bobl oll, eithr i'r tystion etholedig o'r
2 Pedr 1 blaen gan Dduw, [sef] i ni y rhai a fwytasom ac a yf-
21 asom gyd ag ef, wedi ei gyfodi oddi wrth y meirw.
h Mat. 25 42 [h] Ac efe a orchymynnodd i ni bregethu i'r bobl,
31 a dwyn testiolaeth mai efe yw hwn a ordeiniwyd gan
Dduw yn farn-wr byw a meirw.
i Pen 4,12 43 [i] Gyd â hwn mae yr holl brophwydi yn testiol-
Rhuf. 3, aethu, fod i bawb a gredo ynddo ef gael maddeuant am
27 eu pechodau yn ei enw ef.
44 Tra fu Petr yn dywedyd y geiriau hyn, descyn-
nodd yr Yspryd Glân ar bawb a glywsant y gair.
j Rhuf. 9 45 [j] A'r rhai o'r enwaediad a oeddynt yn credu, ac a
12 ddaethant gyd â Phetr, a synnasant, am dywallt yr Ys-
pryd Glân ar y Cenhedloedd hefyd.
k 1 Cor. 12 46 [k] Canys hwy a'u clywsant hwynt yn ymadrodd â
10 thafodau, ac yn mawrhygu Duw, yna yr attebodd
Petr,
47 A all neb luddio dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn,
y rhai a dderbyniasant yr Yspryd Glân fel ninnau?
l 1 Cor. 1 48 [l] Ac efe a orchymynodd eu bedyddio hwynt yn
17 enw yr Arglwydd: yna y deisyfiasant arno aros tros
Rhuf. 4, 11 ennyd o ddyddiau.
Mat. 10, 40

## PEN. XI.

*Petr yn bodloni y rhai o'r enwaediad,* 22. *Barnabas a Phaul yn pregethu yn Antiochia,* 28. *Agabus yn dangos y doe drudaniaeth.*

YR apostolion a'r brodyr oeddynt yn Iudæa a glyw-
sant ddarfod i'r cenhedloedd hefyd dderbyn gair
m Pen. 8 Duw.
45 2 [m] Wedi dyfod Petr i fynu i Ierusalem, y rhai o'r en-
Rhuf 10, 2 waediad a ymrysonasant yn ei erbyn ef,
3 Gan ddywedyd, Ti a aethost i mewn at wŷr dien-
waediol, ac a fwytêaist gyd â hwynt.
4 [n] A Phetr a ddechreuodd, ac a eglurodd [bob peth] n 1 Pedr
mewn trefn iddynt, gan ddywedyd, 3, 15
5 Myfi oeddwn yn gweddio yn ninas Ioppa, ac mewn
llewyg y gwelais weledigaeth, [sef] rhyw lestr unwedd
a llen-lliain fawr yn descyn, wedi ei gollwng o'r nef
erbyn ei phedair congl, ac hi a ddaeth hyd attaf fi:
6 Yn yr hwn pan edrychais, yr ystyriais, ac mi a wel-
ais bedwar carnolion y ddalar, a bwyst-filod, ac ym-
lusciaid, ac ehediaid y nef.
7 [o] Ac mi a glywais lef yn dywedyd wrthif, Cyfot o Esa 30
Petr, lladd, a bwyta. 21
8 Ac mi a ddywedais, Na [wnaf] Arglwydd; canys
dim cyffredin nac aflan nid aeth er ioed yn fyng-enau.
9 [p] Eithr y llais a'm hattebodd i eil-waith o'r nef: Yr p Pen 15,9
hyn a lanhaodd Duw, na alw di yn gyffredin. Eph 2,13
10 [q] A hynny a wnaed dair gwaith, a'r holl bethau a q Ioan 21,
gymmerwyd i fynu i'r nef trachefn. 17
11 Ac wele yn y man, y daeth try-wyr i'r tŷ (lle yr
oeddwn) wedi eu gyrru o Cæsarea attaf.
12 [r] Ac archodd yr Yspryd i mi fyned gyd â hwynt r Rhuf. 12
heb ammeu dim, a'r chwe brodyr hyn a ddaethant gyd 17
â mi, ac ni a ddaethom i dŷ y gwr.
13 [s] Yr hwn a ddangosodd i ni y modd y gwelse yntef s Heb 1,14
angel yn ei dŷ, yr hwn a safodd, ac a ddywedodd wrtho,
Anfon ryw rai i Ioppa, a galw am Simon a gyfenwir
Petr.
14 Efe a draetha eiriau wrthit trwy y rhai i'th iachauir
di a'th holl dŷ.
15 [t] Ac a myfi yn dechreu llefaru, y daeth yr Yspryd t Pen. 10
Glân arnynt, megis arnom ninnau yn y dechreuad. 44 a 2 4
16 [u] Yna y cofiais air yr Arglwydd, y modd y dywed- u Ioan 1,
ase efe, Ioan a fedyddiodd â dwfr, eithr chwi a fedyddir 26
â'r Yspryd Glân.
17 [v] Yn gymmaint gan hynny a rhoddi o Dduw idd- v Iago 1
ynt y cyfryw ddawn, ac a roddes i ninnau pan gred- 17 Ioan 1.16
asom yn yr Arglwydd Iesu Grist: pwy oeddwn i, i Mat. 20,
luddio Duw? 15
18 [x] Pan glywsant hwy hyn, distawi a wnaethant, a x Rhuf. 1
gogoneddu Duw, gan ddywedyd, Rhoddes Duw gan 8 2 Tim 2
hynny i'r cenhedloedd hefyd edifeirwch i fywyd. 25 Phil 2,13
19 [y] Hefyd y rhai a wascarasid o herwydd y blinder y Luc 19,
a godase yng-hylch Stephan, a ddaethant hyd yn Phe- 13
nice, a Cyprus, ac Antiochia, heb bregethu y gair i neb, 1 Pedr 4
ond i'r Iddewon yn unic. 11
20 [z] A rhai o honynt yn wŷr o Cyprus, ac o Cyrene, z Pen 27,
pan ddaethant i Antiochia, a lefarasant wrth y Groeg- 3 1 Cor 2, 2
iaid, gan bregethu yr Arglwydd Iesu. Pen. 10,
21 A llaw yr Arglwydd oedd gyd â hwynt, a nifer 42 43
mawr a gredodd, ac a drôdd at yr Arglwydd.
22 Ac felly daeth y gair o'r pethau i glustiau yr eg-
lwys yr hon oedd yn Ierusalem, a hwy a anfonasant
Barnabas, i fyned hyd Antiochia.
23 [a] Yr hwn pan ddaeth, a gweled gras Duw, a fu a Tit 2.11
lawen ganddo, ac a gyngh orodd bawb oll, trwy lwyr- Ruth 1 18
fryd calon i barhau yn yr Arglwydd.
24 Canys gŵr da oedd efe, yn llawn o'r Yspryd Glân,
a ffydd: a llawer o bobl a chwanegwyd i'r Arglwydd.
25 Yna yr aeth Barnabas i Tharsus, i geisio Saul, ac
wedi iddo ei gael, efe a'i dug i Antiochia.
26 [b] A darfu hefyd iddynt flwyddyn gyfan gynniwer b Pen 13
yn yr eglwys [honno], ac yr oeddynt yn dyscu tyrfa 11
fawr: a'r discyblion yn Antiochia a alwyd yn Grist-
ionogion yn gyntaf.
27 [c] Ac yn yr amser hwnnw y daeth prophwydi o c Eph 4
11

dAmos 3 Ierusalem i Antiochia.
7 28 d Ac un o honynt a gyfododd a'i enw Agabus, ac a
arwyddocaodd drwy yr Yspryd, y bydde newyn mawr
dros yr holl fyd, yr hyn a fu tann Claudius Cæsar.
eHeb 6 10 29 e Yna pob un o'r discyblion yn ol ei allu, a fwriad-
1Cor 16,1 asant anfon cymmorth i'r brodyr, y rhai oeddynt yn
preswylio yn Iudæa.
30 Yr hyn beth a wnaethant, gan ddanfon at yr hen-
uriad drwy law Barnabas a Saul.

## PEN. XII.

*Herod yn erlid y Christianogion, yn lladd Iaco, ac yn carcharu Petr. 7. Yr angel yn gwared Petr. 20. Dig, gwagedd, ac angeu Herod.*

f 1Cor. 4 Y PRYD f hynny yr estynnodd Herod frenin [ei]
26 ddwylo i orthrymmu rhai o'r eglwys.
g Luc 14 2 g Canys efe a laddodd Iaco brawd Ioan â'r cledd-
49 Pen 7,58 yf.
Mat 10,2 3 h A phan welodd fod yn dda gan yr Iddewon hyn,
h Ioan 10 2 a 10,12 efe a chwanegodd ddala Petr hefyd (a dyddiau y bara
13 croiw ydoedd hi)
4 Yr hwn a ddaliodd efe, ac a osododd yng-harchar,
ac a'i rhoddodd at bedwar pedwar o fil-wyr i'w gadw,
gan feddwl ar ol y Pasc ei ddwyn ef allan i'r bobl.
i Luc 18 1 5 i Felly y cadwyd Petr yn y carchar, a gweddi ddyf-
Iago 5,16 Heb. 13,3 al a wnaeth yr eglwys ar Dduw drosto ef.
j Rhuf. 5 1 6 j A phan oedd Herod a'i fryd ar ei ddwyn ef allan,
Sal. 3,5,6 y nos hon y cysgodd Petr rhwng dau fil-wr, wedi ei
rwymo â dwy gadwyn, a'r gwilwyr oeddynt yn cadw
y carchar gyferbyn a'r drws.
k Pen. 5, 19 7 k Ac wele angel yr Arglwydd a ddaeth ar eu huchaf,
Dan. 6,22 a llewyrch a oleuodd yn y carchar: ac efe a darawodd
Diar. 21 30 Petr ar ei ystlys, ac a'i cyfododd ef, gan ddywedyd,
Cyfot yn fuan, a'r cadwyni a syrthiasant oddi am ei
ddwylo ef.
l Luc 12, 8 l A dywedodd yr angel wrtho, Ymwregysa, a chae
35 1Pedr 1 dy escidiau: ac felly y gwnaeth efe, yna y dywedodd,
13 Gwisc dy ddillad am danat, a chanlyn fi.
9 A Phetr a ddaeth allan, ac a'i canlynodd ef, ac nis
gwybu mai gwir oedd y peth a wnaethid gan yr angel,
onid efe a dybiodd mai gweled gweledigaeth yr oedd
efe.
10 Eithr wedi myned o honynt heb law y gyntaf
a'r ail wiliadwriaeth, hwy a ddaethant i'r porth haiarn,
yr hwn sydd yn arwain i'r ddinas, yr hwn a ymagor-
odd iddynt o'i waith ei hun: ac wedi eu myned allan,
hwy a aethant ar hyd un heol, a'r angel a aeth yn eb-
rwydd oddi wrtho.
m Dan. 6 11 m Yna Petr wedi dyfod atto ei hun a ddywedodd,
22 2Tim. 4, Yn awr y gwn yn wir, i'r Arglwydd anfon ei angel,
17 Sal. 34.19 a'm gwared fi allan o law Herod, ac oddi wrth ddisgwyl-
n Phil. 4, iad holl bobl yr Iddewon.
3 12 n Ac wedi iddo gymmeryd pwyll, efe a ddaeth i
Luc 8, 2, 3 a 10,38 dŷ Mair, mam Ioan yr hwn oedd a'i gyfenw Marcus,
Esa. 65 lle yr oedd llawer wedi ymgasclu ac yn gweddio.
24 Dan. 9,20 13 o Ac wedi i Petr guro drws y porth, morwyn a
o Mat. 10 ddaeth allan i wrando a'i henw Rhode.
16 14 Yr hon pan adnabu lais Petr, nid agorodd y drws
Luc 24 gan lawenydd, eithr hi a redodd i mewn, ac a ddyw-
1 Mat. 18 edodd fod Petr yn sefyll o flaen y porth.
10 15 p Hwythau a ddywedasant wrthi, Yr wyt ti wedi
p Sal. 102 ynfydu, a hithe a daerodd mai felly yr oedd, eithr hwy
0, 21 Marc 15, a ddywedasant, Ei angel ef yw.
0 16 q A Phetr a barhaodd yn curo, ac wedi iddynt
q Mat. 10 agori, hwy a'i gwelsant ef, ac a synnasant.
3 17 Ac efe a amneidiodd arnynt â'i law am dewi, ac

a ddangosodd iddynt pa wedd y dugase yr Arglwydd
ef allan o'r carchar: ac efe a ddywedodd, Dangoswch
hyn i Iaco, ac i'r brodyr, ac efe a aeth allan, ac a aeth
i le arall.
18 A phan ddyddhäodd hi, yr oedd trallod nid
bychan ym mhlith y mil-wyr, pa beth a ddaethe o
Betr.
19 r Eithr Herod, pan geisiodd ef, ac na's cafodd, r Esa. 26
efe a holodd y ceidwaid, ac a orchymynnodd eu cym- 10 2Tim. 3
meryd hwy ymmaith: yntef a aeth i wared o Iudæa i 13
Cæsarea, ac a arhosodd yno.
20 s Eithr Herod oedd lidiog yn erbyn gwŷr Tyrus s Diar. 16
a Sidon, a hwynt a ddaethant yn gytun atto, ac wedi 14 a 19, 20
ennill Blastus yr hwn oedd ystafellydd y brenin, hwy Luc 14
a ddeisyfiasant dangneddyf: am fod eu gwlad hwynt 32
yn cael ei chynhaliaeth o dir y brenin.
21 Ac ar y dydd nodedic yr ymwiscodd Herod yn ei
ddillad brenhinol, ac yn eistedd ar yr orseddfaingc,
efe a ymadroddodd wrthynt.
22 t A'r bobl a roesant waedd, Lleferydd Duw, ac t Dat. 13 4
nid dyn.
23 Ac allan o law y tarawodd angel yr Arglwydd
ef, am na roese y gogonedd i Dduw, a chan bryfed
yn ei ysu, efe a drengodd.
24 A gair Duw a gynnyddodd, ac a amlhäodd.
25 Yna Barnabas, a Saul a ddychwelasant o Ierusa-
lem, wedi cyflawni eu swydd, a chan gymmeryd gyd
â hwynt Ioan hefyd yr hwn a gyfenwid Marc.

## PEN. XIII.

*Am Sergius Paulus: am Elymas a Bariesu. 16. Pregeth Paul. 46. Hyder Paul a Barnabas.*

Y R u oedd hefyd yn yr eglwys yr hon oedd yn u Eph. 4
Antiochia rai prophwydi a doctoriaid sef Barna- 11 Rhuf. 16
bas, a Simon yr hwn a elwid Niger, a Lucius o Cy- 21
rene, a Manahen brawd-maeth Herod y Tetrarch, a Phil. 4,22
Saul.
2 v Fel yr oeddynt hwy yn gwasanaethu yr Ar- v 2Cron.
glwydd, ac yn ymprydio, y dywedodd yr Yspryd 20, 14
Glân, Neillduwch i mi Barnabas a Saul i'r gwaith y
gelwais hwynt.
3 Yna wedi iddynt ymprydio, a gweddio, a dodi eu
dwylo arnynt, y gollyngasant hwy ymmaith.
4 w A hwythau wedi eu danfon ymaith gan yr Ys- w Mat. 9,
pryd Glân a ddaethent i wared i Seleucia, ac oddi yno 38 Rhuf. 10
y mordwyasant i Cyprus. 15
5 x A phan ddaethant i Salamis y pregethasant air x Mat. 10
Duw yn Synagogau yr Iddewon: ac yr oedd Ioan 27. 32 Pen. 5,20
hefyd yn weinidog iddynt.
6 y Ac wedi iddynt gerdded yr ynys hyd Paphus, y Dat. 17
hwy a gawsant ryw swyn-wr, gau brophwyd o Iddew, 2. 2Tim. 3,8
a'i enw Bariesu:
7 z Yr hwn oedd gyd â'r rhaglaw Sergius Paulus [yr z 1Pedr 2
hwn oedd] wr call: ac efe a alwodd atto Barnabas a 2
Saul, ac a ddeisyfiodd gael clywed gair Duw.
8 a Ac Elymas y swyn-wr (sef felly y deonglir ei enw) a 2Tim. 3
ai lluddiodd hwynt, gan geisio troi y rhaglaw o'r 8
ffydd.
9 Yna Saul (yr hwn hefyd a elwir Paul) yn llawn
o'r Yspryd Glân, ac yn edrych yn graff arno ef,
10 b A ddywedodd: O [un] llawn o bob dichell a b Mat. 3
phob dryg-waith, mab diafol, a gelyn pob cyfiawnder, 7 Ioan 8,44
oni pheidi a gwyro iniawn ffyrdd yr Arglwydd?
11 Ac yn awr, wele law yr Arglwydd arnat, a thi a
fyddi ddall heb weled yr haul dros amser, ac yn ddi-
atreg y syrthiodd arno niwlen, a thywyllwch, ac a

aeth o amgylch i geisio a'i harweinie mewn llaw.

e Pen. 9, 35 12 [c] Yna y rhaglaw pan welodd yr hyn a wnaethid a gredodd, gan ryfeddu wrth ddysceidiaeth yr Arglwydd.

13 A Phanl a'r rhai oeddynt gyd ag ef, wedi myned ymmaith o Paphus a ddaethant i Perga yn Pamphylia, eithr Ioan a ymadawodd â hwynt, ac a ddychwelodd i Ierusalem.

d 1 Cor. 9 20 2 Tim. 4 8 14 [d] Ac wedi iddynt fyned allan o Perga, y daethant i Antiochia [dinas] o Pisidia, ac hwy a aethant i mewn i'r Synagog ar y dydd Sabboth, ac a eisteddasant:

e Marc 5 22 1 Cor. 14 3, 31 15 [e] Ac yn ol llitho'r ddeddf, a'r prophwydi, rheolwyr y Synagog a anfonasant attynt, gan ddywedyd, Ha wyr frodyr, od oes gennych air o gyngor i'r bobl: traethwch.

16 Yna cyfododd Paul i fynu gan amneidio a'i law am osteg ac a ddywedodd, O wyr o Israel, a'r sawl sydd yn ofni Duw, gwrandewch.

f Sal 147, 19 20. Gen. 12, 1 a 15, 13 17 [f] Duw y bobl hyn o Israel, a etholodd ein tadau, ac a dderchafodd y bobl pan oeddynt yn preswylio yng-wlad yr Aipht, ac a braich uchel y dug efe hwynt oddi yno allan.

g Heb. 3 8, 9 18 [g] Ac yng-hylch [yspaid] deugain mhlynedd, y goddefodd efe eu harferau hwynt yn yr anialwch.

19 Ac wedi iddo ddinistrio saith genedl yn nhir Canaan, â choel-bren y parthodd efe dir y rhai hynny iddynt hwy.

20 Ac wedi hynny yng-hylch pen pedwar cant a dec a deugain o flynyddoedd y rhoddes efe farn-wyr iddynt hyd yn amser Samuel y prophwyd.

h 1 Sam. 8 5 Hos. 13 11 21 [h] Ac yn ol hynny y dymunasant frenin, ac fe roddes Duw iddynt Saul fab Cis, gwr o lwyth Beniamin, ddeugain mhlynedd.

i 1 Sam. 16 13 Sal. 89, 20 22 [i] Ac wedi ei ddiswyddo ef y cyfododd efe Dafydd yn frenin iddynt, am ba un y tystiodd efe gan ddywedyd, Cefais Ddafydd fab Iesse, gwr wrth [fodd] fyng-halon, yr hwn a gyflawna fy holl ewyllys.

23 O had hwn y cyfodes Duw yn ol ei addewid i Israel yr Iachawdr Iesu:

24 A phan bregethodd Ioan yn gyntaf o flaen ei ddyfodiad ef fedydd edifeirwch i holl bobl Israel,

j Ioan 1 20 a 4, 28 25 [j] Ac wedi i Ioan gyflawni ei redfa efe a ddywedodd, Pwy yr ydych yn tybied fy mod i? nid myfi yw [efe] eithr wele y mae yn dyfod ar fy ol yr hwn nid wyf deilwng i ddattod escidiau ei draed.

k Rhuf 1 16 26 [k] Ha-wyr frodyr, plant o genhedlaeth Abraham, a pha rai bynnac yn eich plith sydd yn ofni Duw, i chwi yr anfonwyd gair yr iechydwriaeth hyn.

l 1 Cor 2, 8 2 Cor 3 14 27 [l] Oblegid preswylwyr Ierusalem a'u tywysogion heb adnabod hwn, na lleferydd y prophwydi y rhai a ddarllenid bob Sabboth [ai] cyflawnasant gan farnu [hwn.]

m Mat 27 22 28 [m] Ac heb gael ynddo ddim achos angeu a ddymunasant ar Pilat ei ladd ef.

n 1 Pedr 2, 24 29 [n] Ac wedi iddynt gwblhau pob peth a'r a scrifenasid am dano ef y descynasant ef oddi ar y pren, ac y dodwyd ef mewn monwent.

30 (Eithr Duw a'i cyfododd ef i fynu oddi wrth y meirw)

31 Yr hwn a welwyd lawer dydd gan y rhai a ddaeth yng-hyd gyd ag ef o Galilæa i Ierusalem, ac sydd yn dystion o honaw i lawer o bobl:

o Gen 3 15 Pen 2 39 32 [o] A nyni ydym yn pregethu i chwi yr addewid a wnaed i'r tadau, ddarfod i Dduw ei gyflawni i'w plant hwy, sef nyni, gan iddo gyfodi Iesu:

33 Megis yr sgrifennir yn yr ail psalm, Ti yw fy Mab i, myfi heddyw a'th genhedlais.

34 [p] Ac am iddo ef ei gyfodi ef o'r meirw, nid i ddychwelyd mwy i lygredigaeth, y dywedodd fel hyn: Dodaf i chwi sanctaidd ddisigl [drugareddau] Dafydd. p Esa 55. 3 Luc 1. 31

35 [q] Ac am hynny y mae yn dywedyd mewn lle arall, Ni adewi i'th Sanct weled llygredigaeth. q Sal. 16 10

36 Canys Dafydd, wedi iddo wasanaethu trwy ewyllys Duw yn ei oes, a hunodd, ac a osodwyd gyd ai dadau, ac a welodd lygredigaeth:

37 Eithr yr hwn a gyfodes Duw, ni welodd lygredigaeth.

38 [r] Am hynny bydded hyspys i chwi, ha wyr frodyr, mai trwy hwnnw yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant am bechodau. r 1 Tim 2, 5 Pen 16 31

39 [s] A thrwy hwn y cyfiawnheir pob un a'r sydd yn credu ynddo oddi wrth y pethau oll y rhai nis gallent gael eu cyflawni trwy gyfraith Moses. s Rhuf 4 25 Ioan 1 12

40 Gwiliwch am hynny rhag dyfod arnoch y peth a ddywedir yn y prophwydi. Rhuf 3 27

41 [t] Edrychwch O ddirmyg-wyr a rhyfeddwch, a diflennwch ymmaith: canys yr wyf yn gwneuthur gweithred yn eich dyddiau, gwaith nis credwch er i neb ei ddangos i chwi. t Diar 1 30 Mat 13 14

42 Ac wedi eu dyfod hwy allan o Synagog yr Iddewon, yr attolygodd y cenhedloedd bregethu o honynt y geiriau hyn iddynt y Sabboth nesaf.

43 Ac wedi gollwng y gynnulleidfa, llawer o'r Iddewon ac o'r proselytiaid bucheddol, a ganlynasant Paul a Barnabas, y rhai gan lefaru wrthynt a gynghorasant iddynt aros yng-ras Duw.

44 [u] A'r ail Sabboth y daeth yr holl ddinas agos i wrando gair Duw. u Ioan 4 28

45 [v] Eithr pan welwyd y bobl, yr Iddewon a lanwyd o genfigen, ac a wrthwynebasant y geiriau a lefarase Paul, gan ddywedyd yn eu herbyn a'u cablu. v 1 Thes 2 14 Mat 23 13

46 [w] Yna y llefarodd Paul a Barnabas yn hyf, ac hwy a ddywedasant, Rhaid oedd egluro i chwi air Duw yn gyntaf, eithr gan i chwi ei wrthod, a'ch barnu eich hunain yn anheilwng o fywyd tragywyddawl: wele, nyni yn troi at y Cenhedloedd. w Pen 1 8 Ioan 1 11 Pen 7 51 2 Cor 2 15

47 [x] Canys felly y gorchymynnodd yr Arglwydd i ni [gan ddywedyd,] Gosodais di yn oleuad i'r Cenhedloedd i fod o honaw yn iechydwriaeth hyd eithaf y ddaiar. x Esa 49 6 Pen 9, 15

48 [y] A phan glybu y Cenhedloedd, llawenhau a wnaethant, a gogoneddu gair yr Arglwydd, ac fe a gredodd pob cyfryw un ac a ordeiniasid i fywyd tragywyddol. y Rhuf 9 15 Rhuf 8 29

49 [z] Felly, gair Duw a ddygwyd drwy gwbl o'r wlad honno. z Ecs 1 12

50 [a] A'r Iddewon a annogasant rai o'r gwragedd bucheddol anrhydeddus, a phennaethiaid y ddinas, ac a godasant erlid yn erbyn Paul a Barnabas, ac hwy a'u gyrasant allan o'u terfynau hwynt. a Pen 21 20

51 [b] Hwyntau a escydwasant y llwch oddi wrth eu traed yn eu herbyn hwy, ac a ddaethant i Iconium. b Mat 10 14 Pen 14 6

52 A'r discyblion a gyflawnwyd o lawenydd, ac o'r Yspryd Glân. 13

## PEN. XIV.

*Rhwyddeb gair Duw. 6. Erlid yr apostolion. 10 Iachau y cloff efrydd. 12. Cam addoli yr apostolion. 19. Llabyddio Paul agos hyd angeu. 21. Trafael yr apostolion.*

AC [c] fe ddarfu iddynt ill dau yn Iconium fyned yng-hyd i Synagog yr Iddewon, a llefaru fel y c Pen 13 43 a 8, 4

credodd lliaws mawr o'r Iddewon, ac o'r Groeg-wyr hefyd.

dAmos 7 10 Jer 26,11 2 d Ond yr Iddewon anghredadwy a gyffroesant, ac a lygrasant feddyliau y Cenhedloedd yn erbyn y brodyr.

ePen 13 46 3 e Am hynny yr arhosasant [yno] amser mawr, gan lefaru yn hyderus yn yr Arglwydd, yr hwn a roddes destiolaeth i air ei rad ef, ac a roddes wneuthur arwyddion a rhyfeddodau trwy eu dwylo hwynt.

fIoan 7 43 4 f Yna y rhannwyd cynnulleidfa y ddinas, rhai oedd gyd â'r Iddewon, a rhai gyd â'r apostolion.

Luc 2,34 5 A phan wnaethpwyd rhuthr gan y Cenhedloedd, a'r Iddewon a'r llywodraethwyr i'w hamherchi hwynt, ac i'w llabyddio:

gMat 10 16, 23 6 g Deall hynny a wnaethant, a chilio i Lystra, a Derba, dinasoedd o Lycaonia, ac i'r wlad o bob tu.

hPen 8,4 7 h Ac yno y pregethasant yr efengyl.

8 Ac yr oedd gwr yn eistedd yn Lystra yn ddiffrwyth ei draed, yr hwn oedd yn efrydd o groth ei fam, ac ni cherddase er ioed.

iMat 9, 2 9 i Hwn a glybu Paul yn pregethu, yr hwn wrth edrych arno, a gweled fod ganddo ffydd i gael iechyd,

10 A ddywedodd â llef uchel, Saf yn dy iniawn sefyll ar dy draed, ac efe a neidiodd i fynu, ac a rodiodd.

11 Yna pan welodd y dyrfa y peth a wnaethe Paul, hwy a godasant eu llef gan ddywedyd yn iaith Lycaonia, Duwiau a ddescynnasant attom yn rhith dynion.

jRhuf 1 2 12 j Ac hwy a alwasant Barnabas yn Iupiter, a Phaul yn Mercurius: o blegit efe oedd yr ymadroddwr penaf.

1 Thes 1 10 13 Yna offeiriad Iupiter yr hwn oedd o flaen eu dinas, a ddug deirw a garlantau ger bron y pyrth, ac a fynnase gyd â'r bobl aberthu.

k Dat 23 11 14 Yr hwn beth pan glybu yr apostolion Barnahas a Phaul hwy a rwygasant eu dillad, ac a neidiasant yn mhlith y bobl gan lefain,

lIago 5 17 15 l A dywedyd, Ha wŷr, pa ham w gwnewch chwi hynny? dynion hefyd ydym ninnau, yn gorfod goddef fel chwithau, ac yn pregethu i chwi ar i chwi droi oddi wrth y petheu gweigion ymma at Dduw byw, yr hwn a wnaeth nef a daear, a'r môr, a phob peth oll, a'r sydd ynddynt.

16 Yr hwn a adawodd yn yr oesoedd gynt i'r holl genhedlaethau gerdded eu ffyrdd eu hunain.

mRhuf 1 20 Sal 19, 1 a 36, 6 Mat 5,45 17 m Er hynny, ni adawodd efe mo honaw ei hun yn ddi-dyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymorau ffrwythlon, a llenwi ein calonnau ni â llynniaeth, ac a llawenydd.

18 A thra fuant yn traethu y pethau hyn, braidd yr attaliasant y bobl rhag aberthu iddynt.

19 Yna y daeth Iddewon o Antiochia, ac Iconium, y rhai wedi iddynt gynghori y dyrfa, a llabyddio Paul a'i lluscasant allan o'r ddinas gan dybied ei fod efe yn farw.

n2Cor 1 10 20 n Ac fel yr oedd y discyblion yn sefyll o'i amgylch, efe a gyfododd, ac a aeth i'r ddinas, a thrannoeth efe a aeth allan, ac a ddaeth i Derbe efe a Barnabas.

21 A phan bregethasant i'r ddinas hono, ac ennill llawer o ddiscyblion, hwy a ddychwelasant i Lystra, ac Iconium, ac Antiochia,

o 1 Thes 3. 14 2 Tim 3 12 22 o Gan gadarnhau calonnau y discyblion, a'u cynghori i aros yn y ffydd: ac mai trwy lawer o gystydd y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw.

p 2 Cor 3 7 Ioan 16 23 p Ac wedi ordeinio o honynt henuriaid iddynt ym mhob Eglwys trwy etholedigaeth, a gweddio, ac ymprydio, hwy a'i gorchymynnasant i'r Arglwydd yr hwn y credent ynddo.

24 Ac wedi iddynt fyned tros Pisidia, y daethant i Pamphilia.

25 Ac wedi pregethu y gair yn Perga, y daethant i wared i Attalia.

26 Ac oddi yno y daethant i Antiochia, o'r lle y gorchymynnasid hwynt i ras Duw er mwyn y gorchwyl a gyflawnasent hwy.

q1Cor 15 10 2 Cor 16 9 27 q Ac wedi iddynt ddyfod a chasclu yr eglwys ynghyd, adrodd a wnaethant faint y gweithredoedd a wnaethe Duw drwyddynt hwy, ac iddo ef agoryd i'r Cenhedloedd ddrws y ffydd.

28 Ac yno yr arhosasant hwy dros hir o amser gyd a'r discyblion.

## PEN. XV.

*Ymryson yng-hylch enwaediad,* 35. *Paul a Barnabas yn pregethu yn Antiochia,* 39. *Paul a Barnabas yn ymadel.*

r 2Tim 3 8 Pen 20 30 Gal 5 2 YNA r y daeth rhai i wared o Iudæa, ac a ddyscasant y brodyr [gan ddywedyd,] onid enwaedir chwi yn ol deddf Moses, ni ellwch fod yn gadwedic.

sRhuf 16 18 Mat 25 2 a 13, 28 1 Thes 5 21 2 s A phan ydoedd ymryson a dadlau nid bychan gan Paul a Barnabas yn eu cylch hwy, fe gytunwyd fyned Paul a Barnabas, ac eraill o honynt hwy, i fynu i Ierusalem at yr apostolion a'r henuriaid, yng-hylch y cwestiwn ymma.

t Pen 14 27 a 21, 18 3 t Yna wedi eu danfon hwy ymmaith gan yr eglwys, teithiasant trwy Phenice a Samaria, gan fynegu troad y cenhedloedd: ac hwy a wnaethant lawenydd mawr i'r brodyr oll.

u1Cor 15 10 4 u A phan ddaethant i Ierusalem, a'u derbyn gan yr eglwys, a'r apostolion, a'r henuriaid, hwy a adroddasant y pethau oll a wnaethe Duw trwyddynt hwy.

v Pen 8 13 a 21, 20 2 Cor 1 24 5 v Ond fe gododd [ebr hwy] rhai o sect y Pharisæaid y rhai oeddynt yn credu, gan ddywedyd, Mai rhaid iddynt eu henwaedu, a gorchymyn cadw deddf Moses.

6 Yna y daeth yr apostolion a'r henuriaid i edrych ar yr ymadrodd hwn.

w Pen 2 4 a 10 20 34 Rhuf 10 17 7 w Ac wedi bod ymddadleu mawr, y cyfododd Petr, ac y dywedodd wrthynt, Ha-wŷr frodyr, chwi a wyddoch ddarfod i Dduw er ys talm yn ein plith ni fy ethol i, fel y cae y cenhedloedd drwy fyng-enau i glywed gair yr efengyl, a chredu.

8 A Duw adnabydd-wr calon, a dystiolaethodd gydâ hwynt gan roddi iddynt yr Yspryd Glan fel i ninnau.

xPen 10 43 1Cor 1,2 9 x Ac ni wnaeth efe ddim gwahaniad rhyngom ni ag hwynt, gan iddo trwy ffydd lanhau eu calonau hwynt.

10 Ac yn awr pa ham yr ydych chwi yn temtio Duw, gan ddodi iau ar warrau y discyblion, yr hon ni allodd na'n tadau, na ninnau ei dwyn?

y Ioan 1 16 11 y Eithr credu yr ydym, trwy ras yr Arglwydd Iesu Grist ein bod ni yn gadwedic fel hwythau.

z1Cor 14 40 12 z Yna y distawodd yr holl dyrfa, ac y gwrandawsant Barnabas, a Phaul yn mynegi pa arwyddion a rhyfeddodau eu maint a wnaethe Duw ym mhlith y cenhedloedd trwyddynt hwy,

13 Ac wedi iddynt ostegu, attebodd Iaco a dywedodd, Ha-wŷr frodyr gwrandewch fi.

a Luc 1 78 Tit 2 14 Eph 1 4 Rhuf 11 36 14 a Mynegodd Simon i chwi pa wedd yr ymwelodd Duw gyntaf, i gymeryd pobl i'w enw ef o'r cenhedloedd.

15 Ac â hyn y cyduna geiriau y prophwydi, megis y mae yn scrifennedic,

b Mat 6 18 Rhuf 11 19 20 Mat 8 11 16 b Yn ol hyn y dychwelaf, ac yr adnewyddaf dabernacl Dafydd yr hwn a syrthiase, ac a gyweiriaf ei adwyau, ac a'i cyfodaf ail-waith.

17 Fel y ceisio dynion eraill yr Arglwydd, a'r holl

genhedloedd ar ba rai y galwyd fy enw, medd yr Ar-
glwydd yr hwn sydd yn gwneuthur yr holl bethau
hyn.
c Rhuf 16 18 c Yspys i Dduw yw ei weithredoedd oll, er cyn yr
25 26 oesoedd.
d Rhuf 15 19 d O herwydd pa ham, yr ydwyfi yn barnu na ddy-
8 lid cyffroi y rhai o'r cenhedloedd a droasant at Dduw:
e 1Cor 8 20 e Eithr scrifennu o honom ni attynt ar ymgadw o
1 2 Cor 6 honynt oddi wrth halogrwydd delwau, a godineb, a'r
17 Gen 9 4 peth a dagwyd, a gwaed.
Lef 3 17 21 f Canys y mae i Moses ym mhob dinas, er yr hen
f Luc 16 amseroedd rhai a'i pregethant ef, yn y Synagogau, [lle]
19 y darllennir ef bob Sabboth.
22 Yna y gwelodd yr apostolion yn dda a'r henur-
iaid, yng-hyd a'r holl eglwys anfon gwŷr etholedic o
honynt i Antiochia gyd â Phaul a Barnabas, [sef] Iudas
a gyfenwir Barsabas, a Silas, y gwŷr rhagoraf ym
mysc y brodyr:
23 Gan scrifennu gyd â hwynt fel hyn, Yr apostolion
a'r henuriaid a'r brodyr, at y brodyr y rhai sy o'r cen-
hedloedd yn Antiochia, a Syria, a Cilicia, yn danfon
annerch.
g Ioan 8 24 g Yn gymmaint a chlywed o honom ni i rai a
19 aethant allan oddi wrthym ni eich cyffroi chwi â geir-
2 Cor 11 iau, gan rwystro eich meddyliau, a dywedyd, Rhaid i
3 chwi eich enwaedu, a chadw y ddeddf, i'r rhai ni or-
chymynasem ni [hynny:]
h 1Cor. 1 25 h Ni a welsom yn dda wedi i ni ymgasglu yng-
10 hyd, anfon trwy gyttundeb attoch wŷr etholedic gyd
â'n hannwyl Barnabas a Phaul:
i Barn. 5 26 i Gwŷr a roesant eu bywyd er mwyn enw ein
18 Harglwydd Iesu Grist.
27 Ni a anfonasom Iudas a Silas y rhai a fynegant i
chwi yr un rhyw bethau ar eu [tafod] leferydd.
28 j Canys gwelwyd yn dda i'r Yspryd Glan a nin-
j 2Ped. 1 nau, na ddodem arnoch faich amgenach na'r pethau
21 Dat 2. 24 angenrheidiol hyn.
Rhuf. 15 29 k Bod i chwi ymgadw oddiwrth y pethau a off-
2 Cor. 1 rymmir i ddelwau, a gwaed, a'r peth a dagwyd, a go-
24 k 1Cor. 8 dineb, oddiwrth y pethau hyn, os chwi a ymgedwch,
1 da y gwnewch: byddwch iach.
Rhuf. 11 30 l Ac wedi eu gollwng ymmaith, y daethant i An-
l 1 Cor. tiochia, ac yn ol cael y dyrfa yng-hyd, hwy a roesant
5. 4 y llythyr [iddynt.]
31 Ac wedi iddynt ddarllen, llawenychu a wnaeth-
ant am y cyngor.
32 m Iudas hefyd a Silas y rhai oeddynt hwythau yn
m 1Cor. 14, 1, 3 brophwydi, ai cynghorasant â llawer o ymadrodd, ac a
Eph. 4. 11 gadarnhasant y brodyr.
33 n Ac wedi iddynt aros yno ennyd o amser, hwy a
n Iago 4 13 ollyngwyd mewn heddwch gan y brodyr at yr Apos-
tolion.
34 o Er hynny Silas a welodd yn dda aros [yno].
o 1Thes. 1 1 35 p A Phaul a Barnabas a arhoesant yn Antiochia,
p Mat. 9. 38 gan ddyscu, ac efengylu gair yr Arglwydd gyd â lli-
Esa. 56, 10 aws eraill.
36 q Gwedi ennyd o ddyddiau y dywedodd Paul wrth
q 2 Cor. 11, 28 Barnabas, Dychwelwn, ac ymwelwn â'n brodyr yn
Rhuf. 1 11 mhob dinas yn y rhai y pregethasom air yr Arglwydd
[i weled] pa fodd y maent hwy.
37 A Barnabas a gynghorodd gymmeryd gyd â
hwynt Ioan yr hwn a elwir Marcus.
38 Ond ni wele Paul yn addas ei gymeryd ef yn eu
cymdeithas, yr hwn a dynnase oddiwrthynt o Pam-
phylia, ac nid aethe gyd â hwynt i'r gwaith.
39 r Ac yna yr aeth cymmaint o ddigter rhyngddynt r Pen. 14
hyd oni ymadawodd y naill â'r llall, a Barnabas a 15
gymmerth Marcus gyd ag ef, ac a foriodd i Cyprus. Iago 1, 17
40 Eithr Paul a ddewisodd Silas, ac a aeth ymmaith
wedi ei orchymyn o'r brodyr i ras Duw.
41 Ac efe a dramwyodd trwy Syria a Cilicia, gan
gadarnhau yr Eglwys.

## PEN. XVI.

*Paul yn enwaedu Timotheus. 9. Gweledigaeth Paul. 14, Troad Lydia i'r ffydd. 18. Paul yn bwrw allan ysbryd drwg. 22. Curo a charcharu Paul a Silas, a'u rhyfedd ryddhaad.*

YNA s y daeth efe i Derbe, ac i Lystra, ac wele, yr s Pen. 17
oedd yno ryw ddiscybl a'i enw Timotheus mab i 21 Phil. 2. 19
ryw wraig yr hon oedd yn credu o Iudæa, ac o dad 2Tim. 1, 5
yr hwn oedd Roeg-wr.
2 Hwn oedd yn cael gair da gan y brodyr y rhai
oeddynt yn Lystra ac Iconium.
3 t Paul a fynne iddo ef ddyfod gyd âg ef, ac a'i t Gal. 16. 3
cymmerth, ac o achos yr Iuddewon y rhai oeddynt 1Cor 9
yn y lleoedd hynny, efe a'i henwaedodd ef, canys 21
pawb a wydde mai Groegwr oedd ei dad ef.
4 u Ac fel yr oeddynt yn ymddaith trwy y dinasoedd, u Pen. 15
hwy a roesant arnynt gadw yr pyngciau a ordeiniase 29
yr Apostolion a'r henuriaid, y rhai oeddynt yn Ieru-
salem.
5 v Felly y cadarnhawyd yr eglwysi yn y ffydd, ac v Gal. 5. 1
hwy a amlhawyd o rifedi beunydd. Rhuf. 14
6 w Ac wedi iddynt drammwy trwy Phrigia, a gwlad 23 w Pen. 19
Galatia, gwahardd wyd iddynt gan yr Yspryd Glân 10 Rhuf. 1
bregethu y gair yn Asia: 10
7 x Pan ddaethant i Misia hwy a geisiasant fyned i x Esa. 30
Bithinia, eithr ni adawodd Yspryd yr Iesu iddynt. 21
8 A myned a wnaethant heb law Misia i wared i
Troas.
9 y Ac fe ymddangosodd i Paul weledigaeth liw nos, y Pen. 8
rhyw wr o Macedonia a safe, ac a weddie arno, gan 26 a 10, 33
ddywedyd, Tyret trosodd i Macedonia, a chymorth ni.
10 z Er cynted y gwelodd efe y weledigaeth, ni a z Sal. 119
geisiasom fyned i Macedonia, gan weled arwyddion 60 Rhuf. 12,
diogel, mai yr Arglwydd a'n galwase ni, i bregethu yr 11
efengyl [yno.] Luc 15, 7
11 Ac ni a aethom ymmaith o Troas, ac a gyrchas-
om yn iniawn i Samothracia, a thrannoeth i Neapolis.
12 a Ac oddi yno i Philippi yr hon sydd brif ddinas a Phil. 1
ym mharthau Macedonia, dinas rydd, ac ni a arhosasom 1 Esa. 55,
yn y ddinas honno dalm o ddyddiau. 10
13 b A'r dydd Sabboth yr aethom allan o'r ddinas i b 1Tim. 2
lann yr afon, lle byddid arferol o weddio, lle yr eis- 8 Ioan 4, 6
teddasom gyd â rhai gwragedd a ddaethant yng-hyd. 7
14 c A rhyw wraig a elwid Lydia, yr hon oedd yn c Dat. 2,
gwerthu porphor o ddinas y Thiatiriaid, yr hon oedd 18
yn gwasanaethu Duw a wrandawodd arnom, yr hon a Eph. 1 17 Heb. 6. 7
agorase yr Arglwydd ei chalon i ystirio ar y pethau a Luc 10
ddywedase Paul. 39
15 d Ac wedi ei bedyddio hi a'i theulu, hi a ddymun- d 1Thes.
odd, gan ddywedyd, Os ydych yn fy marnu i yn ffydd- 4, 12
lawn i'r Arglwydd, dewch i mewn i'm tŷ, ac arhoswch:
a hi a'n daliodd ni [yno.]
16 Ac fel yr oeddem ni yn myned i weddio, fe ddaeth
llangces ac ynddi yspryd dewindeb i gyfarfod â ni, yr

PEN. XV. Adn. 32.] Yn brophwydi. Deonglwyr doeth a dysgawdwyr doniol, a gyfrifid felly. Y mae'r da yn fuddiol, fel angel, Dat. iii, 1, a'r drwg yn newidiol fel diafol, Dat. xii, 4.

hon oedd yn peri llawer o elw i'w meistriaid wrth
e2Cor.11 ddewiniaeth.
4 Marc 1, 17 [e] Hon yn dilyn Paul a ninne, gan ddywedyd, Y
25 Diar.26 dynion hyn yw gweision y Duw goruchaf, y rhai sy yn
25 dangos i chwi ffordd iechydwriaeth.
18 [f] A hynny a wnaeth hi lawer o ddyddiau, a Phaul
fMarc 1 yn flin ganddo hyn, a ddychwelodd ac a ddywedodd
25 Col. 2, 15 wrth yr yspryd, Gorchymyn yr wyf i ti drwy enw
2Cor.10,4 Iesu Grist fyned allan o honi: ac efe a aeth allan yr
awr honno.
gMica 3 19 [g] Yna pan welodd ei meistred hi fyned heibio
5 obaith eu helw, hwy a ddaliasant Paul a Silas, ac a'u
lluscasant hwy i'r farchnadfa at y swyddogion:
h1Bren. 20 [h] Ac hwy a'u rhoesant hwy at y llywodraethwyr,
18, 17 ac a ddywedasant, Y mae y dynion hyn yn blino ein
dinas ni, a hwythau yn Iddewon.
i1Pedr 4 21 [i] Ac yn pregethu defodau y rhai nid ydynt rydd i
4 j1Cor.11 nyni eu derbyn, na'u harfer, y rhai ydym Rufain-wyr.
2 1Thes.2 22 [j] Yna y cyfododd y dyrfa yng-hyd yn eu herbyn
2 hwy, a'r llywodraeth-wyr a ddrylliasant eu dillad hwy,
ac a orchymynnasant eu curo â gwiail.
23 Ac wedi dodi llawer gwialennod iddynt, hwy a'u
taflasant i garchar: gan orchymyn i geidwad y carchar,
eu cadw hwynt yn ddiogel.
24 Yr hwn pan gafodd y fath orchymyn a'u bwriodd
hwy i'r carchar nesaf i mewn, ac a wnaeth eu traed yn
sicer yn y cyffion.
kSal.119 25 [k] Ac fel yr oedd Paul a Silas ganol nos yn gwedd-
62 Pen 5,41 io, hwy a ganasant hymnau i Dduw, a'r carcharorion
Iago 5 a'u clywsant hwy.
17 26 [l] Ac yn ddysymmwth y bu daiar-gryn mawr, hyd
Pen.12.7 oni siglodd seiliau y carchar, ac yn ebrwydd yr agor-
odd y drysau oll, a rhwymau pawb a aethant yn
mIoan 1 rhyddion.
5, 6 27 [m] A phan ddeffrodd ceidwad y carchar a chanfod
2Sam.17 drysau y carchar yn agored, efe a dynnodd ei gleddyf,
23 ac a amcanodd ladd ei hun: gan dybied ddiango y
carcharorion.
28 Yna y llefodd Paul â llef uchel, gan ddywedyd,
Na wna niwed i ti dy hun, canys yr ydym ni yma oll.
n1Sam.3 29 [n] Felly y galwodd efe am oleuad, ac y rhuthrodd
20 i mewn, ac a syrthiodd yn ddychrynnedic o flaen
Paul a Silas.
oPen. 2 30 [o] Ac efe a'u dug hwynt allan, ac a ddywedodd,
37 O feistred beth sydd raid i mi ei wneuthur i fod yn
gadwedig?
pMarc 31 [p] Yna y dywedasant hwy, Cred yn yr Arglwydd
16, 16 Gal.2,20 Iesu Grist, a chadwedig fyddi di a'th deulu.
qRhuf.10 32 [q] A hwy a lefarasant iddo air yr Arglwydd, ac i
17 bawb oll a'r a oedd yn ei dŷ ef.
r Pen. 8 33 [r] Ac efe a'u cymmerth hwy yr awr honno o'r nos,
37 ac a olchodd eu briwiau, ac efe yn y man a fedydd-
Luc 19.9 wyd a'i holl deulu.
sGal.5.6 34 [s] Ac wedi iddo fyned a hwynt iw dŷ, efe a huliodd
ford, ac efe a lawenychodd yn Nuw wedi credu yn
Nuw a'i holl dŷ.
tSal.30.5 35 [t] Wedi dyddhau, y llywodraethwyr a anfonasant
1Cor. 10 13 gennadau, gan ddywedyd: Gollwng ymaith y dynion
2Cor.4,8 9 yna.
36 Yna yr adroddodd ceidwad y carchar y geiriau
hyn i Paul: Y llywodraeth-wyr a anfonasant i'ch goll-
uPen.22 wng chwi, yn awr gan hyny cerddwch ymmaith:
25 a 25.25 ewch mewn heddwch.
Phil 4,8 37 [u] Yna y dywedodd Paul wrthynt: Wedi darfod
iddynt ein curo yn amlwg heb ein barnu, a ninnau yn
Rhufeinwyr, hwy a'n bwriasant ni i garchar, ac yr
awr hon a fynnant hwy ein bwrw ni allan yn ddirgel?
nid felly: ond deuant eu hunain a dygant ni allan.
38 [v] A'r cennadon a fynegasant y geiriau hyn i'r v1Sam.
llywodraeth-wyr, ac hwy a ofnasant pan glywsant 21, 20
mai Rhufeiniaid oeddynt.
39 [w] Yna y daethant, ac yr attolygasant arnynt, ac wMat.8
a'u dodasant allan, ac a ddeisyfiasant arnynt fyned 34
allan o'r ddinas.
40 [x] Ac wedi iddynt ddyfod allan o'r carchar, hwy a x2Tim.1
aethant i mewn at Lydia, a phan gawsant weled y 8 1Thes.3
brodyr, diddanasant hwynt, ac a aethant ymmaith. 2, 3

## PEN. XVII.

*Paul yn myned i Thessalonica. 15. Ac i Athen, ac yn ymresymmu yno: ac yn pregethu i'r Atheniaid.*

AC fel yr oeddynt yn tramwy trwy Amphipolis ac
Apollonia, hwy a ddaethant i Thesalonica, lle
yr oedd Synagog i'r Iddewon.
2 [y] A Phaul yn ol ei arfer a aeth i mewn attynt, ac a yEsa. 8
ymresymmodd â hwynt (tros dri Sabboth) o'r scryth- 20 Ioan5,39
urau.
3 [z] Gan egluro a dangos o flaen eu llygaid hwy mai zGal.3,1
rhaid oedd i Grist ddioddef, a chyfodi oddi wrth y Luc 24 26,32
meirw, ac mai hwn yw y Crist Iesu yr un yr wyfi yn
ei bregethu i chwi [eb efe.]
4 [a] A rhai o honynt a gredasant, ac a ymwascasant aEsa.55 11
â Phaul a Silas, ac o'r Groeg-wyr bucheddol lliaws Rhuf. 1
mawr, ac o'r gwragedd goref nid ychydig. 16
5 [b] Eithr yr Iddewon anghredadwy, yn cenfigennu, bPen. 7
a gymmerasant attynt ryw ddynion sceler o gyrwydr- 51 a 13, 45
iaid, a chan gasglu tyrfa hwy a wnaethant flinder i'r
ddinas, ac a osodasant ar dŷ Iason, ac a geisiasant eu
dwyn hwynt allan at y bobl.
6 [c] A phan na chawsant hwynt, hwy a luscasant cJer. 44
Iason, a rhai o'r brodyr, at bennaethiaid y ddinas, 17 Pen. 16,
gan lefain, Dymma y rhai sy yn dymchwelyd llyw- 20
odraeth y byd, wele, ac ymma y maent hwy.
7 [d] Y rhai hyn a ddarfu i Iason eu derbyn, ac y dDat. 13 16
maent oll yn gwneuthur yn erbyn cyfraith Cæsar: 1Tim. 6
gan ddywedyd fod brenin arall [sef] Iesu, 15
8 [e] Ac hwy a gyffroesant y dyrfa, a llywodraeth-wyr eMat. 2,
y ddinas hefyd, wrth glywed hyn ymma. 3
9 Ac wedi iddynt gael sicrwydd gan Iason a'r lleill,
hwynt a'u gollyngasant hwy.
10 [f] A'r brodyr yn ebrwydd a anfonasant Paul a fMat.16
Silas hefyd o hyd nos i Berea: y rhai wedi eu dyfod 16 Gal. 6, 9
a aethant i Synagog yr Iddewon.
11 [g] Boneddigeiddiach na'r rhai oeddynt yn Thes- gMat 13
salonica oedd y rhai hyn: y rhai a gymmerasant y 23 1Thes. 1
gair trwy bob parodrwydd oll, gan chwilio beunydd 5 1Thes. 5
yr scrythyrau, ai felly yr oedd y pethau hyn. 21
12 Felly llawer o honynt a gredasant: ac o'r gwrag- 1Ioan 4
edd onest, o'r Groegiaid, a'r gwyr hefyd nid ychydig. 1 h1Thes.2
13 [h] A chyn gynted ag y clybu yr Iddewon o Thes- 15
salonica, fod pregethu gair Duw gan Paul yn Beræa Rhuf. 3 15
hefyd, hwy a ddaethant yno hefyd gan gyffroi y Pen. 14
dyrfa. 11
14 Ac yn brysur y brodyr a ddanfonasant Paul ym-
maith i fyned [fel pette] i'r môr, ond Silas a Thimo-
theus a arhosasant yno yn oestad.
15 A chyfarwyddwyr Paul a'i dugasant ef hyd Athen:
ac wedi derbyn gorchymyn at Silas a Thimotheus ar iMat 3,5 Rhuf. 1
iddynt ddyfod ar ffrwst atto, hwy a aethant ymmaith. 22
16 [i] A thra fu Paul yn aros am danynt yn Athen, ei 1Cor. 1
yspryd a ennynnodd ynddo wrth weled y ddinas 20

wedi ymroi i eulunnod.
j1Cor.15 10 17 j O herwydd hyn yr ymddadleuodd efe â'r Idd-
ewon, ac â'r rhai defosionol yn y Synagogau, a beun-
ydd yn y farchnad, â phwy bynnac a gyfarfydde
ag ef.
k1Cor.15 32 18 k A rhyw Philosophyddion o'r Epicuræaid, ac o'r
Mat. 10 25. Stoiciaid a ymrysonasant ag ef: a rhai a ddywedent,
Pa beth a fynn y siarad-wr hwn ei ddywedyd? ac
eraill [a ddywedent,] cyffelyb ei fod efe yn pregethu
cythreuliaid dieithr am bregethu o honaw ef iddynt
Iesu, a'r adgyfodiad.
lRhuf.16 25 19 l Ac hwy a'i daliasant ef, ac a'i dugasant i
Heb. 13 8 Areopagus gan ddywedyd, A allwn ni gael gwybod
beth yw y ddysc newydd yna a draethir gennit?
20 O blegit yr wyt ti yn dwyn rhyw bethau dieithr
i'n clustiau ni: am hynny ni a fynnwn wybod beth a
fyn y pethau hyn?
21 (Canys yr holl Atheniaid, a'r dieithred y rhai
oeddynt yn ymdaith yno, nid oeddynt yn cymmeryd
hamdden i ddim arall, ond y naill ai i ddywedyd, ai i
glywed rhyw newydd)
22 Yna y safodd Paul yng-hanol Areopagus, ac a
ddywedodd, Ha wyr Atheniaid, mi a'ch gwelaf chwi
ym mhob peth yn goel-fucheddol:
mEph.2 12 23 m Canys wrth ddyfod heibio ac edrych ar eich
Rhuf. 1 20 addoliaeth, mi a gefais allor yn yr hon yr sorifennasid:
I'R DUW YR HWN NID ADWAENIR: yr hwn
yr ydych chwi yn ei addoli heb ei adnabod, hwnnw yr
wyf fi yn ei ddangos i chwi.
nPen. 7 48 24 n Duw yr hwn a wnaeth y byd a'r hyn sydd yn-
Ioan 4 23 ddo oll, efe yn Arglwydd nef a ddaiar nid yw yn aros
mewn temlau o waith dwylo:
o Rhuf. 11, 36 25 o Ac ni wasanaethir ef â dwylo dynion, fel pe bai
arno eisieu dim, gan ei fod efe yn rhoddi i bawb fywyd,
ac anadl, a phob peth oll:
pGen. 1 27 26 p Ac efe a wnaeth holl genhedlaeth dynion o un
Job 14, 5 6 gwaed i bresswylio ar wyneb y ddaiar oll, wedi iddo
qRhuf.1 19 bennu yr amseroedd gosodedig, a dodi terfynau i'w
presswylfod hwynt:
Sal. 19, 1 27 q Fel y ceisient yr Arglwydd, os bydde iddynt gan
Rhuf. 1 21 balfalu ei gael, er nad yw efe yn ddiau neppell oddi
wrth bob un o honom.
rRhuf.11 36 28 r O blegit ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn sym-
Iago 1,17 mud, ac yn bod, megis y dywedodd rhai o'ch Poetau
Heb. 1, 3 chwi eich hunain: canys ei genhedlaeth hefyd ydym
ni.
sRhuf. 1 20 29 s Gan hynny, am ein bod yn genhedlaeth i Dduw,
ni ddylem ni dybied fod duwdod yn debyg i aur, ac
arian, neu i faen, [sef] cerfiad celfyddyd a dychymmyg
dyn.
tLuc 12 47 30 t Ac yn amseroedd yr anwybod hyn, nid oedd
Mat. 28 19 Duw yn cymmeryd arno weled, [eithr] yn awr y mae
efe yn dangos i bob dyn ym mhob man, er mwyn edi-
farhau.
u1Tim.2 5 31 u O herwydd iddo ef osod dydd yn yr hwn y
barna efe y byd yn gyfiawn, drwy y gwr yr hwn a or-
deiniodd efe, gan ddodi ffydd i bawb trwy ei adgyfodi
ef o feirw.
v1Cor. 1 23 32 v A phan glywsant son am adgyfodiad y meirw,
rhai a watwarasant, ac eraill a ddywedasant, ni a'th
wrandawn trachefn am hyn.
33 Felly Paul a aeth ymmaith o'u plith hwynt.
34 Er hynny rhai a lynasant wrtho, ac a gredasant,
ym mhlith pa rai yr oedd Dionisius Areopagita, a
gwraig a enwid Damaris, ac eraill gyd â hwynt.

## PEN. XVIII.

*Paul yn gweithio â'i ddwylo. 4. Yn pregethu yng Corynth. ac yn ymresymmu. 24. Clod Appollos, Aquila, a Phriscilla.*

YN w ol hyn, Paul a ymadawodd ag Athen, ac a w1 Cor. 2
ddaeth i Corynth. xDiar.28 15
2 x Ac wedi cael gafael ar Iddew a'i enw Aquila yr Esa. 16, 1
hwn a hanoedd o Pontus wedi dyfod yn hwyr o'r Ital
a'i wraig Priscilla, (am orchymyn o Claudius i'r Idd-
ewon oll fyned allan o Rufain) efe a ddaeth attynt:
3 y A chan ei fod o'r un gelfyddyd, efe a arhoes, ac yGen. 3 19. a 4, 2
a weithiodd gyd â hwynt; a'u celfyddyd ydoedd 2Thes 3
gwneuthur pebyll. 10
4 z Ac efe a ymresymmodd yn y Synagog bob Sab- z2Cor.5 20
both, ac efe a gynghorodd yr Iddewon a'r Groegiaid.
5 Ac wedi dyfod Silas a Thimotheus o Macedonia,
Paul a yrrwyd gan yr Yspryd i destiolaethu i'r Iddew-
on, mai Iesu oedd Crist.
6 a A hwyntau yn gwrthwynebu, ac yn cablu, efe a aMat 10 14
escydwodd ei ddillad, ac a ddywedodd wrthynt, Bydd- Lef. 20, 9
ed eich gwaed ar eich pen eich hunain: yr wyfi yn 12
lân, yn ol hyn yr af at y Cenhedloedd.
7 Ac efe a aeth oddi yno, ac a aeth i mewn i dŷ un
a enwid Iustus yr hwn oedd yn gwasanaethu Duw, tŷ
yr hwn oedd yn gyfagos i'r Synagog.
8 b Ac [un] Crispus pen-synagogydd a gredodd yn b1 Cor. 1
yr Arglwydd, a'i holl dŷ: a llawer o'r Corinthiaid wrth 14 Marc 5
ei wrando a gredasant, ac a fedyddiwyd. 22
9 A'r Arglwydd a ddywedodd liw nos wrth Paul Rhuf. 10 17
trwy weledigaeth, nac ofna, eithr traetha, ac na thaw.
10 c Canys yr wyfi gyd â thi, ac ni esyd neb arnat i cRhuf. 1 31
wneuthur niwed i ti: herwydd y mae i mi bobl lawer Ioan 10
yn y ddinas hon. 16
11 d Ac efe a arhoes flwyddyn a chwe-mis yno, yn dEph. 5 16
dyscu iddynt air Duw. Rhuf. 12 11
12 Eithr pan oedd Gal-lio yn rhaglaw o Achaia, y
cyfododd yr Iddewon yn unfryd yn erbyn Paul, ac a'i
dugasant ef i'r frawdle:
13 Gan ddywedyd, Y mae hwn yn annog dynion i
addoli Duw yn erbyn y ddeddf.
14 Ac fel yr oedd Paul yn amcanu agoryd ei enau,
y dywedodd Gal-lio wrth yr Iddewon, Pe buasai gam,
neu ddrwg weithred (O Iddewon,) mi a gyd ddygwn â
chwi wrth reswm.
15 e Eithr os yw 'r ymrafael am ymadrodd, ac enwau, e1Cor.2 14
ac am eich deddf chwi, edrychwch eich hunain: canys Cor. 7, 20
ni byddaf fi farn-wr am y pethau hynny. a 5, 12
16 Ac efe a'u gyrrodd hwynt o'r frawdle.
17 f Yna y Groeg-wyr oll a gymmerasant Sosthenes fRhuf.13 3
y pen-synagogydd, ac a'i tarawsant o flaen y frawdle, 1Tim. 2, 1
ac nid oedd Gal-lio yn gofalu am ddim o'r pethau 2
hynny.
18 g Ac wedi i Paul aros yn chwaneg lawer o ddydd- g Rhuf. 16, 1
iau, efe a gymmerodd ei gennad gan y brodyr, ac a Pen. 21
fordwyodd i Syria, a Phriscilla, ac Aquila gyd ag ef, 24
gwedi iddo eillio ei ben yn Cenchrea: canys efe a 1 Cor. 9 21
wnaethe adduned.
19 Ac efe a ddaeth i Ephesus, ac a'u gadawodd
hwynt yno, eithr efe a aeth i'r Synagog, ac a ymres-
ymmodd â'r Iddewon.
20 A phan geisiasant ganddo aros yn hwy gyd â hGal.4,10
hwynt, ni chaniatte efe [hynny]: Col. 2, 16
21 h Eithr efe a gymmerodd ei gennad ganddynt gan 1Cor. 4,
ddywedyd, Y mae yn angenrhaid i mi gadw yr wyl 19 Iago 4,15
hon sydd yn agos yn Ierusalem, ond os myn Duw mi

a ddeuaf yn fy ol attoch eil-waith: ac efe a aeth ym-
maith o Ephesus.
22 Ac wedi iddo ddyfod i wared i Cæsarea, efe a
aeth i fynn i [Ierusalem,] ac a gyfarchodd yr eglwys,
ac a ddaeth i wared i Antiochia.
i2Cor. 11 25 23 ⁱ Ac wedi iddo aros yno ennyd, efe a aeth ym-
Pen. 15 38 maith, gan drammwy trwy wlad Galacia, a Phrygia,
a 20, 3 a chadarnhau yr holl ddiscyblion.
jCol 3, 16 24 ʲ Eithr rhyw Iddew, a'i enw Apollos, yr hwn a
2Tim 3, 6 anesid yn Alexandria, gwr ymadroddus cadarn yn yr
yscrythyrau a ddaeth i Ephesus:
kRhuf 12 11 25 ᵏ Hwn oedd wedi dechreu dyscu iddo ffordd yr
Pen 8, 5 Arglwydd, ac yn boeth ei yspryd, efe a draethodd,
a 19, 3 ac a athrawodd yn ddiwyd bethau yr Arglwydd, ac
ni wydde ond bedydd Ioan.
lPen 4, 31 Eph 6, 19 26 ˡ A hwn a ddechreuodd draethu yn hyderus yn y
1Cor 12 21 Synagog: a phan glybu Aquilla a Phryscilla hwn,
hwy ai cymmerasant ef attynt, ac a agorasant ffordd
m1Cor 3 Dduw yn fanylach.
6 1Cor 15 27 ᵐ A phan ewyllysiodd efe fyned i Achaia, y bro-
10 dyr gan ei annog ef, a scrifennasant at y discyblion
i'w dderbyn ef, ac wedi iddo fyned yno, efe a wnaeth
lawer o leshad i'r rhai a gredasent trwy ras.
n2Tim 3 16 28 ⁿ Canys efe a geryddodd yr Iddewon ar osteg yn
ddirfing, gan ddangos trwy yr scrythyrau mai Iesu
yw Crist.

## PEN. XIX.

*Am fedydd a derbyniad yr Yspryd Glan. 9. Yr Iddewon yn cablu dysceidiaeth Paul. 12. Rhai yn consurio yn enw'r Iesu. 24. Am Ddemetrius y gof arian, a Diana. 35. Ysgolhaig y ddinas yn gostegu y bobl.*

AC ᵒ fe ddarfu tra fu Apollos yn Corinth, drammwy
oPen 18 23 o Paul drwy y parthau uchaf a'i ddyfod i Eph-
esus, ac wedi cael rhyw ddiscyblion efe a ddywedodd
wrthynt,
pIoan 7 39 2 ᵖ A dderbyniasoch chwi'r Yspryd Glan gan i chwi
Ioan 3 26 gredu, a hwy a ddywedasant wrtho, Ni chlywsom ni
qIoan 7 39 chwaith, a oes Yspryd Glan.
3 ᵠ Yna y dywedodd wrthynt, I ba ryw beth gan
hynny y bedyddiwyd chwi? hwythau a ddywedasant,
I fedydd Ioan.
rMat 3 11 4 ʳ A dywedodd Paul, Ioan yn ddiau a fedyddiodd
Ioan 1 29 â bedydd edifeirwch: gan ddywedyd wrth y bobl am
Marc 1 4 gredu o honynt yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef,
sef yn Crist Iesu.
sLuc 3, 3 5 ˢ A phan glywsant hwy [hyn,] hwy a fedyddiwyd
tPen 8 yn enw yr Arglwydd Iesu.
17 6 ᵗ Ac wedi i Paul ddodi ei ddwylaw arnynt, yr
a 10, 46 1Cor 14 Yspryd Glan a ddaeth arnynt, a hwy a draethasant â
10 thafodau, ac a brophwydasant.
Mat 13 11 7 A'r gwyr hyn oll oeddynt yng-hylch deuddec.
u1Thes 2 2 8 ᵘ Hefyd efe a aeth i mewn i'r Synagog, ac a draeth-
odd yn eofn gan ymresymu â chynghori dros dri mis,
Pen 7, 51 bethau a [berthynent] i deyrnas Dduw.
Mat 13 14 9 ᵛ Eithr pan oedd rhai wedi caledu, fel na chredent,
Mat 7, 6 gan ddywedyd drwg am ffordd [yr Arglwydd] wrth y
Esa 6. 10 gynnulleidfa, efe a dynnodd ymaith oddi wrthynt, ac
efe a ddosparthodd y discyblion gan ymresymu beun-
ydd yn yscol un Tyrannus.
Pen 18 11 10 ʷ A hyn a fu dros ddwy flynedd, oni ddarfu i
Pen 5 39 bawb a oedd yn trigo yn Asia yn Iddewon a Groeg-
Mat 13 51 iaid glywed gair yr Arglwydd Iesu.
xPen 5 12 11 ˣ A Duw a wnaeth wyrthiau rhyfedd trwy ddwy-
lo Paul,
2Thes 2 9 12 Hyd oni ddygid cadachau a chwrsiau oddi wrth
ei gorph ef at y cleifion, a'r clefydau a ymadawent â
hwynt, a'r ysprydion drwg a aent allan o honynt.
13 ʸ Yna rhai o'r Iddewon cyrwydraid [y rhai oedd- yMat 12 27
ynt] consur-wyr, a gymmerasant arnynt henwi uwch 1Tim 6 10
ben y rhai a feddiannid gan ysprydion drwg enw yr
Arglwydd Iesu, gan ddywedyd, Yr ydym ni yn eich
consurio trwy yr Iesu yr hwn y mae Paul yn ei bre-
gethu.
14 ᶻ (Ac yr oedd saith o rai yn feibion i Scefa arch- z1Sam 2 12
offeiriad [yr hwn oedd] Iddew yn gwneuthur hyn)
15 ᵃ A'r yspryd drwg a attebodd, ac a ddywedodd, aMat 8 29
Yr Iesu a adwen, a Phaul a adwen: ond pwy ydych Pen 19
chwi? 17
16 ᵇ A'r dyn yr hwn yr oedd yr yspryd drwg ynddo bPen 5 11
a ruthrodd arnynt, ac a'u gorchfygodd, ac a fu drwm
yn eu herbyn hyd oni ffoesant hwy allan o'r tŷ hwnnw
yn noethion, ac yn archolledig.
17 A hynny fu hynod gan yr holl Iddewon a'r Groeg-
iaid y rhai oeddynt yn presswylio yn Ephesus, ac ofn
a syrthiodd arnynt oll, ac enw yr Arglwydd Iesu a
fawrygwyd.
18 ᶜ A llawer o'r rhai oeddynt yn credu, a ddaeth- cMat 3 6
ant gan gyffesu, a chan fynegu eu gweithredoedd.
19 ᵈ Llawer hefyd o'r rhai oeddynt yn arferu y manwl d2Cron
gelfyddydau hynny, a ddygasant eu llyfrau, ac a'u 33, 6
lloscasant yng-wydd yr holl [bobl:] pris y rhain wedi
ei gyfrif a gaed yn ddeng-mil a deugain o geiniogau.
20 ᵉ Felly mor gadarn y tyfodd gair yr Arglwydd, e1Thes 1
ac y nerthodd. 5
21 ᶠ Gwedi cyflawni hyn, Paul a arfaethodd yn yr f2Cor 11 28
Yspryd, gan dramwy trwy Macedonia, ac Achaia Rhuf 1
fyned i Ierusalem: gan ddywedyd, Pan ddelwyf fi 13
yno, rhaid i mi hefyd weled Rhufain.
22 ᵍ Ac wedi anfon i Macedonia ddau o'r rhai oedd- g1Cor 4 17
ynt yn gweini iddo, [sef] Timotheus ac Erastus, efe a Rhuf 16
arhoes yn Asia dros amser. 23
23 Ac yn yr amser hynny, y cyfodes trallod nid bych-
an o blegit ffordd [yr Arglwydd]
24 ʰ Canys rhyw wr a'i enw Demetrius, gof arian yr h2Tim 6
hwn a wnaethe demlau arian Diana, ac oedd yn peri 10
elw nid bychan i'r crefftwyr: Barn 17 10
25 ⁱ Y rhai wedi iddo eu galw yng-hyd, a'r rhai Mat 26 15
fydde yn gweithio y cyfryw bethau hefyd, efe a ddy- Dat 18 16
wedodd wrthynt, Ha-wyr, chwi a wyddoch mai wrth 19
y gwaith hwn y mae ein golud ni. 2Cron 11 15
26 Chwi a welwch hefyd, ac a glywch, ddarfod i'r
Paul hwn nid yn unic yn Ephesus, onid tros Asia oll
gynghori a throi lliaws mawr, gan ddywedyd, nad duw-
iau yw y rhai a wneir â dwylo.
27 ʲ Ac nid i ni yn unic y mae hyn yn enbyd rhag jDat 13 3
dyfod y rhan hon mewn dirmyg, eithr rhag diystyru a 17, 2
teml y dduwies fawr Diana, a rhag destruwio ei mawr- Mat.7 13
hydi hi, yr hon y mae Asia oll, a'r byd yn ei haddoli. Ecs.23,2
28 ᵏ A phan glywsant hwy hyn, a'u gwneuthur yn kDat.13 4
llawn digofaint: hwy a lefasant gan ddywedyd, Mawr
yw Diana yr Ephesiaid.
29 ˡ A llanwyd yr holl ddinas o wradwydd, ac ar un- lRhuf.16
waith y rhuthrasant i'r orseddfa, ac a ddaliasant Gaius, 23 Col. 4, 10
ac Aristarchus Macedoniaid cydymdeithion Paul.
30 ᵐ A phan oedd Paul yn ewyllysio myned i mewn mPen.20 24
ym mysc y bobl, ni adawodd y discyblion iddo. a 17, 14
31 Rhai hefyd o bennaethiad Asia y rhai oeddynt
gyfeillion iddo a yrrasant atto i ddeisyf arno, nad ym-
rodde efe i fyned i'r orsedd.
32 Ac eraill a lefasant beth arall: canys y gynnull-

eidfa oedd yn gymmysc, a'r rhan fwyaf ni wyddent pa
ham y daethent yng-hyd.
n 1Tim.1 20 33 n Ac hwy a dynnasant allan o'r dyrfa un Alexan-
der, (a'r Iddewon yn ei yrru ef ym mlaen) yr hwn Al-
exander gan amneidio a'i law am osteg, a fynnase ym-
escusodi wrth y bobl.
34 Eithr pan wybuant mai Iddew oedd efe, rhodd-
asant oll un llef megis dros ddwy awr, gan lefain,
mawr yw Diana yr Ephesiaid.
o 1Thes.2 11 35 o Ac yna yscolhaig [y ddinas] wedi iddo lonyddu
Eph.2, 2 3 y bobl, a ddywedodd, Ha-wyr yr Ephesiaid, pa ddyn
sydd nis gŵyr fod dinas yr Ephesiaid yn cadw teml y
dduwies fawr Diana, a'r [ddelw] yr hon a ddescyn-
nodd oddi wrth Iupiter?
36 A chan na ellir dywedyd yn erbyn hyn, rhaid i
chwi fod yn llonydd, ac na wneloch ddim yn ddi-
bwyll.
p Sal. 112 5 37 p Canys chwi a ddugasoch ymma y gwyr hyn, y
Mat. 10 16 rhai nid ydynt, nac yn yspeilwyr temlau, nac yn cablu
Pen. 17 23, 24 eich duwies.
38 O achos pa ham od oes gan Demetrius, na chan y
crefft-wyr y rhai sydd gyd ag ef, un hawl yn erbyn
neb, y mae cyfraith yw chael, ac y mae rhaglawiaid,
rhodded pawb yn erbyn ei gilydd.
39 Ac os gofynnwch ddim am bethau eraill, mewn
cynnulleidfa gyfreithlawn y terfynir [hynny].
40 O herwydd enbyd yw rhag ein ceryddu am y
derfysg heddyw: am nad oes un achos i ni iw rhoi
drosom am yr ymgyrchfa hon.
q Sal. 34 19 41 q Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ollyngodd y
Dat 12,16 dyrfa ymmaith.
Esa 8.9 10

## PEN. XX.

Job 5,13 *Paul yn myned i Macedonia, ac i dir Groec.* 7. *Arlwy swpper yr Arglwydd.* 9. *Cwymp Eutichus, a'i ddadebriad i fywyd.* 13. *Teithiau yr Apostolion o le i le.* 18. *Paul yn dangos ei gyflwr yn ei swydd, a'i ddiniweidrwydd.* 28. *Cyngor i eglwys-wyr.* 36. *Paul yn gweddio, ac yn cymeryd ei gennad.*

r Pen 19 41 AC r wedi darfod y derfysc, y galwodd Paul y dis-
cyblion atto, ac y cyfarchodd iddynt, ac efe a
aeth ymmaith i fyned i Macedonia.
s 2Cor 11 26 2 s Ac wedi iddo fyned tros y parthau hynny, a'i
cynghori hwynt â llawer o ymadrodd, yr aeth efe i
[dir] Groec.
t 2Cor 11 26 3 t Ac yn ol darfod iddo fwrw tri-mis yno, wedi i'r
Iddewon gynllwyn iddo, ac efe yn myned i Syria, efe
a welodd yn dda ddychwelyd trwy Macedonia.
u Pen 21 29 4 u A chydymdeithiodd âg ef hyd yn Asia, Sopater
Rhuf 16 21 o Berea: ac Aristarchus, a Secundus, o Thessalonia,
a Gaius o Derbea, a Thimotheus, a Tytichus, a Tro-
phimus hefyd o Asia:
v Ped 16 8 5 v Y rhai hyn a aethant o'r blaen, ac a arhosasant
am danom yn Troas.
w Mat 26 17 6 w A ninnau a fordwyasom ymmaith oddi wrth
Philippi yn ol dyddiau y bara croiw, ac a ddaethom i
Troas o fewn pum diwrnod, lle yr arhosasom saith
niwrnod.
x 1Cor 11 20, 22 7 x A'r dydd cyntaf o'r Sabboth wedi i'r discyblion
2Tim 4,2 ddyfod yng-hyd i dorri bara, Panl a bregethodd idd-
ynt, ac am ei fod ar fedr myned ymaith drannoeth,
y Rhuf 12 17 efe a barhaodd yn llefaru hyd hanner nos.
Phil 4. 8 8 y Ac yr oedd llawer o ganhwyllau yn y llofft lle
z Rhuf 15 5 yr oeddynt wedi ymgasglu.
1Cor 10 11 9 z Ac fel yr oedd rhyw wr ieuangc a'i enw Euti-
chus yn eistedd mewn ffenestr, wedi ei orchfygu â
thrwmgwsc, tra yr oedd Paul yn ymresymmu yn hir,
wedi ei yru gan gwsc efe a syrthiodd i lawr o'r dryd-
edd lofft, ac efe a gyfodwyd i fynu yn farw.
10 Pan ddaeth Paul i wared, efe a syrthiodd arno ef,
ac a'i cofleidiodd, gan ddywedyd, Na chyffroed arn-
och: canys y mae ei enaid ynddo ef. a Ioan 4
11 a Felly wedi iddo fyned i fynu a thorri bara, a 9
chymmeryd bwyd, efe a lefarodd hyd y boreu, ac Diar 8 31
felly yr aeth ymmaith.
12 Ac hwy a ddugasent y bachgen yn fyw, ac hwy
a gysurwyd yn ddirfawr.
13 b Ond nyni a aethom i'r llong, ac a hwyliasom i b Pen 16 38
Assos, oddi yno i dderbyn Paul: canys felly yr ordei- 1Cor 15 10
niase efe ar fedr myned ei hun ar ei draed.
14 A phan ddaeth efe attom ni i Assos, ei dderbyn
a wnaethom, a myned i Mitylene.
15 A morio a wnaethom oddi yno, a dyfod tran-
noeth gyferbyn a Chios, a thradwy y tiriasom yn Sa-
mos, ac a arosasom yn Trogilium, a'r ail dydd yr
aethom i Melitum.
16 c O blegit Paul a amcanase hwylio heblaw Ephesus, c Rhuf 9 2, 3
fel na bydde iddo dreulio amser yn Asia, canys bryssio Pen 21
yr oedd i edrych a alle efe fod yn Ierusalem erbyn Gal 4,10
dydd Sul-gwyn. d 1Tim 5
17 d O herwydd pa achos, efe a ddanfonodd o Meli- 17
tum i Ephesus, ac a alwodd yng-hyd henuriaid yr
eglwys.
18 e Y rhai pan ddaethant atto ef, efe a ddywedodd e Mat 11 7
wrthynt, Chwi a wyddoch er y dydd cyntaf y daethym
i Asia, pa fodd y bum i gyd â chwi dros yr holl amser,
19 f Yn gwasanaethu yr Arglwydd mewn pob gos- f 1Cor 9 19
tyngeiddrwydd, a llawer o ddagrau a phrofedigaethau: Phil 3 18
y rhai a ddigwyddasant i mi trwy gynllwyn yr Iddew-
on.
20 g Ac na ochelais ddim o'r pethau oeddynt fuddiol g Rhuf 1 17
i chwi, na's mynegais i chwi, ac na's dyscais i chwi yn 2Tim 4:
oleu, ac o dŷ i dŷ:
21 h Gan destiolaethu i'r Iddewon, ac i'r Groegiaid h Mat 9 13
hefyd, yr edifeirwch yr hwn sydd yn Nuw, a'r ffydd Heb 6, 1
yn ein Harglwydd Iesu Grist.
22 Ac yn awr, wele fi yn rhwym yn yr Yspryd yn
myned i Ierusalem, heb wybod beth a dderfydd i mi
yno:
23 i Eithr bod yr Yspryd Glân yn tystio i mi ym mhob i Pen 9 16
tref, gan ddywedyd, fod rhwymau a blinderoedd yn a 21, 4
fy aros.
24 j Ond nid wyfi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid j 1Cor 9 24
cu gennif fy einioes fy hun, os gallaf orphen fyng-yrfa Ioan 17 4
trwy lawenydd, a'r weinidogaeth yr hon a dderbyniais Rhuf 1 16
gan yr Arglwydd Iesu, i destiolaethu am Efengyl 2Cor 10 4
gras Duw.
25 Ac yr awr hon, wele, mi a wn na chewch chwi
oll (ym mysc y rhai y bum i yn trammwy i bregethu
teyrnas Dduw) weled fy wyneb i mwy ond hyn.
26 Am hynny heddyw yr ydwyf yn eich cymmeryd
chwi yn dystion, mae glân ydwyfi oddi wrth waed
pawb oll.
27 k Canys nid arbedais fynegu i chwi holl gyngor k 1Cor 11 23
Duw. Luc 7.30
28 l Edrychwch gan hynny arnoch eich hunain, ac l 1Cor 9 27
ar yr holl braidd, i'r hwn y gwnaeth yr Yspryd Glan Mat 23 3
chwi yn olyg-wyr, i fugeilio eglwys Dduw, yr hon a Heb 9 12
brynodd efe â'i briod waed. Eph 5 25
29 Myfi a wn hyn, yn ol i mi ymadel, y daw bleidd-
iau trymmion yn eich plith, nid eiriechant y praidd,

m1Ioan 30 m Ac o'ch mysc chwi eich hunain y cyfyd gwyr, y
2.19 yThes 2 rhai a draethant bethau gwyr-draws, i dynnu discybl-
4 ion ar eu hol.
nPen 19 31 n Am hynny gwiliwch, a meddyliwch na pheidiais
10 Gen 31 ddydd a nos dros dair blynedd a rhybuddio pob un [o
40 honoch] â dagrau.
32 A'r awr hon frodyr, yr ydwyf yn eich gorchymyn
i Dduw, ac i air ei ras ef, yr hwn a all adeiladu chwan-
eg, a rhoddi i chwi etifeddiaeth gyd a'r rhai a sanct-
eiddiwyd oll.
33 Ni chwennychais nac arian, nac aur, na gwisc
o1Cor 4 neb.
12 34 o Ie, chwi a wyddoch eich hunain, wneuthur o'r
dwylo hyn wasanaeth am yr hyn oedd raid i mi, a'r
rhai oeddynt gyd â mi.
Luc 5,38 35 p Mi a ddangosais i chwi bob peth, fod yn rhaid
a 16, 9 Diar. 19 cynnal y gweiniaid trwy lafurio fel hyn: a choffa
17 Heb.3,16 geiriau yr Iesu, ddywedyd o honaw ef, Mai dedwydd-
ach yw rhoddi na derbyn.
qEph. 13 36 q Ac wedi iddo draethu y [geiriau] hyn, gan roddi
4 Pen.21,5 ei liniau ar lawr, efe a weddiodd gyd â hwynt oll.
37 Yna pawb a wylasant yn ddirfawr, a hwy a ruthr-
asant yng-wddf Paul, ac a'i cusanasant ef:
38 Gan ofidio yn bennaf am y gair a ddywedase efe,
na chaent weled ei wyneb ef mwy: ac hwy a'i heb-
ryngasant ef i'r llong.

## PEN. XXI.

1 *Taith Paul.* 8. *Merched Philip yn brophwydessau.* 10. *Agabus yn prophwydo o garchar Paul.* 13. *Paul er hynny yn myned rhagddo yn hyf.* 20. *Cyngor y brodyr i Paul.* 30. *Yr Iddewon yn bwrw Paul allan o Deml Ierusalem, yn ei guro, ac yn ei garcharu.* 39. *Paul yn dangos ei hanes.*

r1Cor. 4 AC r yn ol i ni osod allan, wedi ymadel â hwynt,
15 Pen. 20 ni a ddaethom ag iniawn-gyrch i Coos, a thran-
37 Pen. 11 noeth i Rodos, ac oddi yno i Patara.
19, a 15,3 2 s A phan gawsom long yn hwylio i Phenice, ni a
ddringasom iddi, ac a aethom ymmaith.
3 Ac wedi ymddangos o Cyprus i nyni, ni a'i gadaw-
som ar y llaw aswy, ac a hwyliasom tu a Syria, ac a
diriasom yn Tyrus, canys yno yr oeddid yn dadlwytho
y llong.
tPen. 9 4 t Ac ni a arhosasom yno saith niwrnod, gan gael
16 discyblion, y rhai a ddangosodd i Paul trwy yr Ys-
a 20, 23 Mat. 16 pryd, nad ele i Ierusalem.
22 u1Tim.2 5 u Ac wedi gorphen y dyddiau hynny, ni a aethom
8 ymmaith, a hwyntwy oll, a'u gwragedd a'u plant a'n
Ioan 4,21 hebryngasant, onid aethom allan o'r ddinas, ac ni a os-
tyngasom ar ein gliniau ar y traeth, ac a weddiasom.
6 Ac wedi cyfarch eu gilydd, ni a ddringasom i'r
llong: a hwyntau a ddychwelasant adref.
7 Ac wedi i ni hwylio, ni a ddaethom i wared o
Tyrus i Ptolemais, ac a gyfarchasom i'r brodyr, ac a
drigasom un diwrnod gyd a hwynt.
vEph. 4 8 v A thrannoeth Paul a ninnau y rhai oeddem gyd
11 2Tim.4,4 ag ef, a ddaethom i Cæsarea, ac a aethom i mewn i dŷ
Philip yr efengylwr, yr hwn oedd un o'r saith, ac a
Pen. 6, 5 arhosasom gyd ag ef.
9 Ac iddo ef yr oedd pedair merched o forwynion
yn prophwydo.
wPen.11 10 w Ac fel yr oeddem ni yn aros yno lawer o ddydd-
28 iau, fe ddaeth o Iudæa i wared brophwyd a'i enw Ag-
Pen. 14 abus:
2 Thes. 3 11 x A phan ddaeth efe attom ni, a chymmeryd gwre-
gys Paul a rhwymo [ei] ddwylaw [a'i] draed, efe a ddy-

wedodd, Hyn a ddywed yr Yspryd Glân, fel hyn y
rhwyma yr Iddewon yn Ierusalem y gwr yr hwn a biau
y gwregys hwn, ac a'i dodant i ddwylo y Cenhedl-
oedd.
12 y Ac wedi clywed o honom hyn, nyni a'r rhai yHeb. 12
oeddynt yn yr un fan a ddeisyfiasom nad ele efe i fynu 11
i Ierusalem.
13 z Yna yr attebodd Paul, Pa beth a wnewch chwi zHeb. 11
yn wylo, ac yn doluriio fyng-halon? canys parot wyfi, 35 Phil.1,20
nid i'm rhwymo yn unic, ond i farw hefyd yn Ierusa-
lem er mwyn enw yr Arglwydd Iesu.
14 a A phan nad oedd yn cydseinio â ni, ni a beidias- aMat. 26
om, gan ddywedyd, Bydded ewyllys yr Arglwydd. 42 Sal.89, 9
15 Hefyd yn ol y dyddiau hynny, nyni a gymmeras-
om ein beichiau, ac a ddaethom i fynu i Ierusalem.
16 b A rhai o'r discyblion o Cæsarea a ddaethant gyd bRhuf.16
â ni, ac a ddugasant gyd â hwynt un Mnason o Cy- 7 Luc 22
brus, hen ddiscybl, gyd â'r hwn y lletteuem. 28
17 c A phan ddaethom i Ierusalem, y brodyr a'n der- c1Pedr 4
byniasant yn llawen. 9 Heb.13,3
18 A'r dydd nesaf yr aeth Paul i mewn at Iaco gyd
â ni, a'r holl henuriaid oeddynt wedi ymgasglu.
19 d Ac wedi iddo gofleidio y rhai hyn, efe a fyneg- d1Cor.15
odd iddynt o fesur un, ac un, bob peth a'r a wnaethe 10 a 36,7
Duw trwy ei weinidogaeth ef ym mhlith y Cenhedl-
oedd.
20 e A phan glywsant, hwy a roesant ogoniant i'r Ar- ePen. 11
glwydd, ac a ddywedasant wrtho, Ti a weli frawd, pa 18 Pen.8,37
sawl myrddiwn o'r Iddewon a gredasant, ac y maent Rhuf. 10
oll yn dwyn zel i'r ddeddf. 2
21 f Eithr hwy a glywsant am danat di, dy fod yn f Pen. 16
dyscu yr Iddewon oll y rhai sydd ym mysc y Cenhedl- 3 1 Cor. 9
oedd i ymwrthod â Moses: ac yn dywedyd, na ddyl- 20
ent hwy enwaedu ar eu plant, na rhodio yn ol y def-
odau.
22 g Pa beth wrth hynny? rhaid yw i'r dyrfa ddyfod g Pen. 5
yng-hyd: canys hwy a glywant dy ddyfod ymma. 12, 22
23 Gan hynny gwna y peth a ddywedom wrthit, y
mae ymma bedwar-gwyr a wnaethant adduned:
24 h Cymmer hwynt a glanha dy hun gyd â hwynt, hRhuf.12
gwna draul arnynt, fel yr eilliant eu pennau, ac y gwy- 18 1 Cor. 9
po pawb am y pethau a glywsant am danat ti, nad yd- 20
ynt ddim, ond dy fod ti yn rhodio gan gadw y ddeddf. Gal.5 13
25 Ac am y Cenhedloedd sy yn credu, ni a scrifen-
nasom, ac a gwbl gytunasom, na byddo iddynt gadw y
cyfryw beth: eithr ymochel o honynt rhag y peth a
offrymmwyd i'r eulynnod, a rhag gwaed, a rhag peth
tagedig, a rhag putteindra.
26 Yna Paul a gymmerth y gwyr hynny, a thran-
noeth yr ymlanhaodd gyd â hwynt, ac efe a aeth i
mewn i'r Deml: gan yspysu gyflawni dyddiau y glan-
had, hyd oni offrymmid offrwm dros bob un o honynt. i Pen. 26
27 i Ac wedi gorphen y saith niwrnod, rhyw Iddew- 16
on o Asia pan welsant ef yn y Deml, a gyffroesant yr Pen.14,17
holl bobl, ac roesant eu dwylaw arno, 18 a 20, 23
28 j Gan lefain, Ha-wyr o Israel, cymhorthwch: jJos.10, 3
dymma y dyn yr hwn sydd yn dyscu ym mhob man Mat. 26
yn erbyn y bobl, a'r gyfraith, a'r lle ymma: hefyd y 61 Pen.10,14
mae efe wedi dwyn Groegiaid i mewn i'r Deml, ac wedi 15
halogi y lle sanctaidd hwn.
29 k Canys hwy a welsent o'r blaen Trophimus o k1Cor.13
Ephesus gyd ag ef yn y ddinas, yr hwn yr oeddynt hwy 5,7
yn dybied ddarfod i Paul ei ddwyn i mewn i'r Deml.
30 l A'r holl ddinas a gyffrodd, a'r bobl a redodd lGen 19 4
yng-hyd, ac hwy a ymafaelasant yn Paul, ac a'i tyn- Sal.83, 3

nasant allan o'r Deml, ac ar frys y cauwyd y drysau.
m Ioan 16 2 31 [m] Ac fel yr oeddynt hwy yn ceisio ei ladd ef, y
Act. 8, 3 daeth y gair at ben-capten y llu, fod holl Ierusalem
Mat. 7, 2 wedi cyffroi.
n Sal. 46, 1 32 [n] Ac yn y fan efe a gymmerodd fil-wyr, a chanwr-
Gen. 22 14 iaid, ac a redodd i wared attynt: a hwythau pan wel-
sant y pen-capten a'r mil-wyr a beidiasant a tharo
Paul,
33 Yna y daeth y pen-capten, ac a'i daliodd ef, ac a
archodd ei rwymo ef â dwy gadwyn, ac a ofynnodd,
pwy oedd efe, a pha beth a wnaethe efe?
34 A rhai o'r dyrfa a lefent hyn, eraill beth arall, ac
am na's galle gael siccrwydd gan y derfysc efe a orch-
ymynnodd fyned ag ef i'r castell.
35 Ac wedi ei ddyfod ef i'r grisiau, fe orfu i'r mil-wyr
ei ddwyn ef, rhag trais y dyrfa.
o Luc 23 18 36 [o] Canys llu o bobl a ganlynodd, gan floeddio,
Ioan 19 15 Ymmaith ag ef.
37 [p] A phan oeddynt ar ddwyn Paul i'r castell, efe a
Diar. 31 9, 10 ddywedodd wrth y pen-capten, A gaf fi ymddiddan
dim â thi? yntef a ddywedodd, A fedri di Roeg?
q Pen. 5 36 38 [q] Ond ty-di ydyw yr Aipht-wr yr hwn (er ys dydd-
Mat. 15 19 iau) a gyfodaist derfysc, ac a dywysaist bedair mil o
wŷr llofruddioc i'r diffaethwch?
39 Yna y dywedodd Paul, Yn wir, Iddew wyfi, din-
esydd o Tharsus, nid dinas anenwoc o Cilitia: ac yr
wyfi yn deisyf arnat ti, dod gennad i mi i lefaru wrth
y bobl.
r Pen. 12 17 40 [r] Ac wedi iddo ef roi cennad, fe safodd Paul ar y
a 13, 16 grisiau, ac a amneidiodd â llaw ar y bobl, ac wedi
gwneuthur distawrwydd mawr, efe a lefarodd wrthynt
yn Hebræ-aec, gan ddywedyd,

## PEN. XXII.

*Paul yn dangos ei hanes. 25. Yn diangc rhag ei fflangellu am ei fod yn Rhufeiniad.*

s Rhuf. 13 7 HA [s] wyr, frodyr a thadau, gwrandewch fy am-
t Ioan 17 51 ddeffyn wrthych yr awr hon.
2 [t] A phan glywsant mai yn Hebræ-aec yr oedd efe
yn llefaru wrthynt, hwy a roesant iddo osteg gwell,
ac efe a ddywedodd,
u Pen. 5 34 3 [u] Gwr wyfi yn wir o Iddew, yr hwn a aned yn
Ioan 16 2 Tharsus yn Cilicia, ac wedi fy meithrin yn y ddinas
Rhuf. 10 2 hon wrth draed Gamaliel, ac wedi fy athrawu yn ol
dull perffaith ddeddf y tadau, yn dwyn zêl i Dduw,
fel yr ydych chwithau oll heddyw.
v Pen. 7, 6 4 [v] A mi a erlidiais ffordd y fuchedd hon hyd angeu,
1 Tim. 1 13 gan rwymo a bwrw yng-harchar wyr a gwragedd:
w Pen. 9 2 5 [w] Fel y mae yr arch-offeiriad yn dyst i mi, a'r holl
Ester 3 12 henaduriaeth, gan y rhai hefyd y derbyniais lythyrau
at y brodyr, ac yr aethym i Ddamascus, i ddwyn y
rhai oeddynt yno, yn rhwym i Ierusalem iw poeni.
6 Eithr fel yr oeddwn yn myned yn agos i Ddamas-
cus yng-hylch hanner dydd, mawr oleuni o'r nef a
ddiscleiriodd yn ddisymmwth o'm hamgylch.
7 A mi a syrthiais ar y ddaiar, ac a glywais lais yn
dywedyd wrthyf fi, Saul, Saul, pa ham yr wyt yn fy
erlid?
8 A minnau a attebais, Pwy wyt ti O Arglwydd?
x Pen. 9, 7 yntef a ddywedodd wrthif, Myfi yw Iesu o Nazareth
Mat. 13 11 yr hwn yr wyt ti yn ei erlid.
y Mat. 16 17 9 [x] Hefyd y rhai oeddynt gyda myfi a welsant y go-
leuad yn ddiau, ac a ofnasant, ond ni chlywsant hwy
Jer. 10 23 mo lais yr hwn oedd yn ymddiddan â mi.
Mat. 24 46 10 [y] Yna y dywedais, Beth a wnaf O Arglwydd? a'r
Arglwydd addywedodd wrthif, Cyfot, a dos i Dda-
mascus, ac yno y mynegir i ti bob peth a'r a orchym-
ynwyd i ti ei wneuthur.
11 A phan na allwn weled gan ogoniant y goleuad
hwnnw, mi a dywyswyd erbyn fy llaw, [ac] mi a
ddaethym i Ddamascus.
12 Ac un Ananias gwr duwiol yn ol y ddeddf, ac
iddo air da gan yr Iddewon oll ar oeddynt yn pres-
wylio [yno],
13 A ddaeth attaf, ac a safodd ger llaw gan ddywed-
yd, Y brawd Saul, gwel, ac mi a edrychais arno yn yr
awr honno.
14 [z] Ac yntef a ddywedodd, Duw ein tadau ni a'th z Gal. 1, 15
ddewisodd di i wybod ei ewyllys ef, ac i weled y Jer. 1, 5 1 Cor. 9, 1
cyfiawn hwnnw, ac i glywed lleferydd ei enau ef. a 15, 8
15 [a] Canys ti a fyddi dyst iddo wrth bob dyn, o'r a 1 Ioan 1 1
[pethau] a welaist, ac a glywaist. 2 Cor. 16
16 Ac yr awron beth yr wyt yn ei aros? cyfot, cym- 23
mer fedydd, a golch ymmaith dy bechodau gan alw
ar enw yr Arglwydd.
17 A darfu wedi i mi ddyfot yn fy ol i Ierusalem,
fel yr oeddwn yn gweddio yn y Deml, imi syrthio
mewn llewyg:
18 [b] A gweled o honof ef yn dywedyd wrthyf: b Pen. 15, 16
Brysia, a dos yn fuan ymmaith o Ierusalem, o her- Mat. 10
wydd ni chymmerant dy destiolaeth am danaf fi. 14
19 [c] A minne a ddywedais, O Arglwydd, hwy a a 9, 11, 12
ŵyddant fy mod i yn carcharu, ac yn baeddu ym c 1 Tim. 1 15
mhob Synagog y rhai a gredasant ynot ti:
20 [d] A phan dywalltwyd gwaed Stephan dy ferthyr d Pen. 8, 1 a 7, 58
di, yr oeddwn ni yn sefyll gerllaw, ac yn cytuno i'w
ladd ef, a mi a gedwais ddillad y rhai a'i lladdasant
ef.
21 [e] Ac efe a ddywedodd wrthif, Dos ymmaith, canys e Mat. 9 38
mi a'th anfonaf ym mhell at y cenhedloedd. Heb. 5, 4
22 A hwy a'i gwrandawsant ef hyd y gair hwn: yna Rhuf. 15 16
y cyfodasant eu llef, ac a ddywedasant, Ymmaith a'r
cyfryw un oddi ar y ddaiar, canys nid iawn ei fod efe
yn fyw.
23 Ac fel yr oeddynt yn llefain, ac yn bwrw eu dill-
ad, ac yn taflu llwch yn yr awyr,
24 [f] Y pen-capten a orchymynnodd ei ddwyn ef i'r f Pen. 23 26
castell, ac a archodd ei fflangellu ef, a'i holi, fel y Pen. 24
gwydde am ba achos y llefent arno ef. 31 Rhuf. 13
25 A phan rwymasant ef a llinynau, y dywedodd 3
Paul wrth y canwriad yr hwn oedd yn sefyll ger ei
law, Ai rhydd i chwi fflangellu Rhufein-wr, ac heb ei
farnu hefyd?
26 [g] A phan glybu y canwriad, efe a aeth, ac a fyn- g Diar 29 3
egodd i'r pen-capten gan ddywedyd, Edrych beth a
wnelych, canys Rhufeiniad yw y dyn hwn.
27 [h] Yna y daeth y pen-capten, ac a ddywedodd h Sal 118 5
wrtho, Dywed i mi, ai Rhufeiniad wyt ti? ac efe a
ddywedodd, Ie.
28 [i] A'r pen-capten a attebodd, A swm mawr o arian i 1 Pedr 1 18
y prynais i y ddinas-fraint hon; Paul a ddywedodd,
A minne hefyd a aned felly.
29 A'r holwyr a ymadawsant ag ef yn y man, a'r
pen-capten hefyd a ofnodd pan wybu efe ei fod ef
yn Rhufeiniad, am ddarfod iddo ei rwymo ef.
30 [j] A thrannoeth o herwydd ei fod efe yn ceisio j Sal 125 3
gwybodaeth ddiogel pa ham y cyhuddid ef gan yr 1 Cor 10 14
Iddewon, efe a'i gollyngodd o'r rhwymau, ac a arch-
odd i'r arch-offeiriaid a'u cynghor oll ddyfod [yno],
ac efe a ddug Paul, ac a'i gosododd ger eu bron
hwy.

## PEN. XXIII.

*1. Yr arch-offeiriad yn peri taro Paul, a'i atteb yntef am ei daro. 7. Ymrafael rhwng y Phariseaid a'r Saducæaid. 11. Yr angel yn cysuro Paul i fyned i Rufain. 12. Adduned greulon yn erbyn Paul. 16. Nai Paul yn dangos iddo ei berygl, ac i'r capten hefyd. 24. Paul yn myned at Phelix â gwyr arfog, a llythyrau.*

k 2Tim 1 PAUL k yn edrych yn graff ar y cynghoriaid a
3, 18 ddywedodd, Ha wyr, frodyr, mi a wasanaethais
1 Tim 1 13 Dduw mewn pob cydwybod dda hyd y dydd heddyw.
Phil 1 27 1 Ioan 18 22 2 l Yna Ananias yr arch-offeiriad a archodd i'r rhai
oedd yn sefyll yn ei ymmyl, ei daro ef ar ei enau.
m Rhuf 12, 19 3 m Yna y dywedodd Paul wrtho, Duw a'th daru di
Mat 23 27 28 bared gorwyn: canys a ydwyt ti yn eistedd yn fy
marnu yn ol y ddeddf, ac yn gorchymyn fy nharo yn
erbyn y ddeddf?
4 Yna y dywedodd y sefyll-wyr wrtho, a gebli di
arch-offeiriad Duw?
n Ecs 22 28 5 n A dywedodd Paul, O frodyr, ni wybum mai arch-
offeiriad oedd efe: canys sgrifenedic yw, Na felldithia
bennaeth dy bobl.
6 A phan wybu Paul fod y naill ran o'r Saducæaid,
a'r parth arall o'r Phariseaid, efe a lefodd yn y cyng-
or, Ha-wyr frodyr, Pharisæad wyfi, a mab i Pharisæad,
ac am obaith adgyfodiad y meirw yr ydis yn fy
marnu.
7 A phan ddywedodd efe hyn, y cyfodes ymryson
mawr rhwng y Phariseaid, a'r Saducæaid, a'r dyrfa a
aeth yn ddwy-ran.
o Mat 22 23 8 o Canys y Saducæaid a ddywedant nad oes adgyf-
odiad, nac angel, nac yspryd: a'r Pharisæaid sy yn
addef pob un.
p Pen 21 35 9 p Yna y bu llefain mawr, a'r Scrifennyddion o du y
Pen 5 39 Pharisæaid a gyfodasant i fynu, ac a ymrysonasant gan
ddywedyd, Nid ydym ni yn cael dim drwg yn y dyn
hwn, ac os bu i yspryd neu angel ymddiddan âg ef,
nac ymrysonwn â Duw.
q Pen 22 23 10 q Ac wedi cyfodi terfysc mawr, y pen-capten a
ofnodd rhag tynnu Paul yn ddrylliau ganddynt, ac a
archodd i'r milwyr fyned i wared a'i ddwyn ef o'u
plith hwynt, a'i ddwyn i'r castell.
r Pen 27 17 18 11 r Yr ail nos yr Arglwydd yn sefyll gyd ag ef a
Ioan 16 1 ddywedodd, Paul, cymmer gysur: canys fel y darfu i
ti ddwyn testiolaeth o honof yn Ierusalem, felly y
mae yn rhaid i ti destiolaethu yn Rhufain hefyd.
s Diar 1 11 12 s A phan aeth hi yn ddydd, rhai o'r Iddewon a
Esa 8, 9 10 gyfarfuant, ac a wnaethant ddiofryd, gan ddywedyd,
na fwytant, ac na yfent, nes lladd o honynt Paul.
13 Ac yr oedd mwy na deugain o'r rhai a wnaethant
y cyd-fwriad hwn.
t Mal 2, 7 8 14 t A hwy a aethant at yr arch-offeiriaid a'r henur-
Lef 19, 17 iaid, ac a ddywedasant, Darfu i ni ein diofrydu ein
hunain i ddiofrydedd na archwaethom ddim nes i ni
ladd Paul.
u Sal 50 18 15 u Yn awr gan hynny yspyswch gyd a'r cyngor i'r
Sal 65, 21 pen-cabten, fod iddo ei ddwyn ef y foru attoch, fel pe
byddech chwi ar fedr cael gwybod yn fanylach ei han-
es ef, a ninnau cyn y delo efe yn agos, ydym barod i'w
ladd ef.
v Diar 21 30 16 v Eithr pan glybu mab chwaer Paul y cynllwyn
Iob 5, 13 ymma, efe gan ddyfod i mewn i'r castell a fynegodd i
Paul.
17 A Phaul a alwodd un o'r canwriaid atto, ac a ddy-
wedodd, Dwg y gwr ieuangc hwn at y pen-capten:
canys y mae ganddo beth i'w fynegi iddo.
18 Ac efe a'i cymmerth, ac a'i dug at y pen-capten,
ac a ddywedodd, Paul y carcharor a'm galwodd i atto,
ac a ddymunodd arnaf ddwyn y gwr ieuangc ymma
atat, yr hwn sydd ganddo beth i'w adrodd wrthit.
19 Yna y pen-capten ai cymmerth erbyn ei law, ac a
aeth ag ef o'r neilldu, ac a ofynnodd iddo, Beth sydd
gennit iw fynegu i mi?
20 Ac efe a ddywedodd, Yr Iddewon a gydfwriad-
asant ddeisyf arnat ddwyn o honot Paul y foru i fynu
i'r cyngor, fel pe bydde yn eu bryd hwy ymmofyn yn
fanylach yn ei gylch ef.
21 Ond na choelia di hwynt, canys y mae mwy na
deugain wr o honynt yn cynllwyn iddo wedi rhoddi
diofryd na bwyta nac yfed nes ei ladd ef: ac yn awr
y maent hwy yn barod, yn disgwil pa addewid [a gânt]
gennit ti.
22 Yna y pen-capten a ollyngodd y gwr ieuangc ym-
maith, ac a orchymynnodd iddo na fynege i neb, ddy-
wedyd o honaw y cyfryw bethau wrtho.
23 w Ac efe a alwodd atto ddau o ganwriaid, ac a w Pen 10
orchymynnodd iddynt baratoi dau cant o filwyr i fyned 24
hyd yn Cæsarea, a dec a thrugain o wyr meirch, a dau-
cant o ffynwewyr, wedi y drydedd awr o'r nos.
24 A pheri yscrybliaid yn barod i gael o Paul farch-
ogaeth, i fyned ag ef at Phelix y rhaglaw yn ddiogel.
25 Gan scrifennu llythyr ar yr ystyriaeth ymma.
26 x Claudius Lysias yn anfon annerch at yr arddercha- x Luc 1 3
occaf rhaglaw Phelix.
27 Myfi yn dyfod gyd â byddin a achubais y gwr
hwn, yr hwn a ddaliasid gan yr Iddewon, ac ydoedd
debyg yw ladd ganddynt, gan ddeall ei fod ef yn
Rhufeiniad.
28 A chan ewyllysio gwybod am ba achos yr achwyn-
ent arno ef, mi ai dygym ef i'w cyngor hwynt.
29 y Yna y deallais achwyn arno am arholion o'u y 1Cro 2
cyfraith hwy, ac nad oedd arno ef un bai a haedde nac 13
angeu, na charchar.
30 A phan ddangoswyd i mi fod yr Iddewon yn
cynllwyn i'r gwr, mi a'i gyrais ef attat ar frys, ac a
rybuddiais ei gyhudd-wyr ef, os oedd ganddynt ddim
yn ei erbyn ef, ei ddywedyd ger dy fron di: bydd iach. Sal 33 10
31 z Yna y milwyr megis y gorchymynasid iddynt a
gymmerasant Paul, ac a'i dugasant o hyd nos i Anti-
patris.
32 A thrannoeth gan adael i'r gwŷr meirch fyned
gyd ag ef, hwy a ddychwelasant i'r castell.
33 Y rhai pan ddaethant i Cæsarea, a dodi y llythyr
at y rhaglaw, a osodasant Paul hefyd ger ei fron ef.
34 Felly wedi darfod i'r rhaglaw ddarllen, ac ymofyn
o ba wlad yr oedd, a gwybod ei fod ef o Cilicia, a Pen 22
35 a Efe a ddywedodd, Mi a'th wrandawaf di pan 3
ddelo dy gyhuddwyr: ac efe a orchymynodd ei gadw
ef yn nadleu-dy Herod.

## PEN. XXIV.

*Araith Tertulus, a'r Iddewon. 10. Atteb Paul iddynt; Phelix yn oedi gwrando y cwbl, ac yn rhoddi Paul yn y carchar.*

AC b yn ol pum nhiwrnod y daeth Ananias yr arch- b Pen 23
offeiriad i wared, a'r henuriaid, ac un Tertulus 30, 33
areith-wr gyd ag ef, ac a ymddangosasant ger bron Pen 23, 9
y rhaglaw yn erbyn Paul.
2 Ac wedi ei alw ef, Tertulius a ddechreuodd ach-
wyn rhagddo ef, gan ddywedyd,
3 c Gan ein bod ni yn cael trwot ti heddwch mawr c Diar 28 4
(O ardderchoccaf Phelix), a gwneuthur llawer o dda- Sal 12, 2
ioni i'r genhedlaeth hon trwy dy ragwelediad di, yr

ydym ni yn cwbl adnabod hyn oll ym mhob man, gyd
â phob diolch.
4 A rhag i mi dy attal yn rhy-hir, yr ydwyfi yn dei-
syf arnat o'th hynawsedd, wrando arnom ychydig.
d Pen 16 20 5 d O blegit nyni a gawsom y gwr hwn yn bla, ac yn
cyfodi terfysg ym mysc yr holl Iddewon drwy y byd,
ac yn ben ar sect y Nazareniaid.
e Pen 21 28 6 e Yr hwn a fynnase halogi y Deml hefyd, ac a
Ioan 19 7 ddaliasem ni, ac a fynnasem ni ei farnu yn ol ein cyf-
raith.
7 f Eithr Lysius y pen-capten a ddaeth rhyngom ni
Pen 23 10 ag ef, a thrwy orthrech mawr a'i dug ef allan o'n
dwylo ni:
g Esa 3,9 8 g Ac a archodd i'w gyhudd-wyr ddyfod ger dy fron
di, gan yr hwn (os mynni ymofyn) y gelly gael gwy-
bod dy hun yr holl bethau hyn o'r rhai yr ydym ni yn
achwyn rhagddo ef.
h Sal 50 9 h A'r Iddewon a gydsyniasant hefyd, gan ddywed-
18 yd, Fod y pethau y modd hynny.
i Sal 82,3 10 i Ac yna yr attebodd Paul wedi i'r rhaglaw am-
neidio arno i ddywedyd, Gan i mi wybod dy fod di
yn farn-wr lawer o flynyddoedd i'r genedl hon, mi
a'm hamddeffynnaf fy hun yn hyfach.
j Job 29, 11 j Canys ti a elli wybod nad oes tros ddeuddec di-
16 wrnod er pan aethym i fynu i addoli yn Ierusalem.
k Diar 18 12 k Ac ni chawsant fi yn y Deml yn ymddadleu â
17 neb, nac yn gwneuthur cyffro ar y dyrfa yn y Syn-
agogau, nac yn y ddinas.
13 Ac ni allant brofi y pethau y maent yn achwyn
arnaf am danynt,
l Mat 10 14 l Ond hyn yr ydwyf yn ei gyffesu i ti, mai (yn ol
32 y ffordd a alwant hwy yn heresi) felly yr wyf fi yn
addoli Duw fy nhadau, gan gredu yn yr holl bethau
sy scrifennedic yn y ddeddf a'r prophwydi:
n Pen. 23
8 15 n Ac yn gobeithio ar Dduw, y bydd adgyfodiad
Ioan 5,29 y meirw (yr hyn y maent hwy hefyd yn edrych am
dano) i'r cyfiawnion ac i'r anghyfiawnion.
o 2Cor. 1
12 16 o Ac am hyn yr wyf fi yn ymegni, cael o honof
gydwybod lân yn oestad tu ag at Dduw a dynion.
p Rhuf.15 17 p Ac yn ol llawer o flynyddoedd y daethym i roddi
25 Pen. 22 elusen i'm cenhedlaeth, ac offrymmau:
26 18 q Yn hyn rhai o'r Iddewon o Asia a'm cawsant
a 16, 3 a 18, 18 wedi fyng-lanhau yn y Deml, nid gyd â thorf na ther-
q Pen 21 24 fysc.
Pen 21 19 Y rhai hyn a ddylasent fod o'th flaen di i achwyn,
30 pe buase ganddynt ddim i'm herbyn.
20 Neu dyweded y rhain ymma, a gawsent hwy ddim
anghyfiawn ynof, tra ydwyf yn sefyll o flaen y
cyngor.
21 Eithr yr un llef hon, a lefais pan oeddwn yn sefyll
yn eu mysc hwynt: am adgyfodiad y meirw i'm gelwir
heddyw gennwch i farn.
22 Pan glybu Phelix y pethau hyn, efe a'u hoedodd
hwynt heibio, gan ddywedyd, Pan gaffwyf fi wybod
yn well berthynasau y ffordd hon, wedi i Lysias y pen-
capten ddyfod i wared, mi a fynnaf wybod eich matter
chwi.
r 1Cor 10 23 r Ac efe a archodd i'r canwriad gadw Paul, a'gad-
13 Esa 43, 2 el iddo gael esmwythdra, ac na lesteirie neb o'r eiddo
ef i'w wasanaethu, ac i ddyfod atto ef.
24 Ac yn ol talm o ddyddiau, y daeth Phelix gyd a'i
s Tit 2, 12 Phil 3, 9 wraig Drusilla yr hon ydoedd Iddewes, ac a alwodd
Rhuf 2 am Paul, ac a'i gwrandawodd ef yng-hylch y ffydd yr
16 hon [sydd] yng-Hrist.
Heb 4,11 25 s Ac fel yr oedd efe yn traethu, am gyfiawnder, a
diweirdeb, a'r farn a fydd, Phelix a ofnodd ac a atteb-
odd, Dos ymmaith tros hyn: eithr pan gaffwyf fi am-
ser cyfaddas, mi a alwaf am danat.
26 t Ac yr oedd efe yn gobeithio hefyd y cae efe arian t 1Tim 6
gan Paul er ei ollwng, o herwydd pa ham efe a anfon- 10 Job 15,34
odd am dano yn fynychach, ac a chwedleuodd ag ef. Sal 26,10
27 u Ac wedi darfod dwy flynedd y daeth Porcius u Pen 12
Ffestus yn lle Phelix: a Phelix yn ceisio ennill bodd 3 a 25, 9
yr Iddewon a adawodd Paul yn rhwym.

## PEN. XXV.

*Achwyn ar Paul ger bron Ffestus.* 8. *Efe yn atteb drosto ei hun.* 11. *Ac yn appelio at Cæsar.* 13. *Ffestus yn adrodd wrth frenin Agrippa gyflwr Paul.* 24. *A Phaul yn dyfod ger bron Agrippa.*

YNA pan ddaeth Ffestus i'r dalaith y trydydd dydd,
efe a aeth i fynu o Cæsarea i Ierusalem.
2 v Yna yr ymddangosodd yr arch-offeiriaid a phen- v Pen 24
naethiaid yr Iddewon ger ei fron ef yn erbyn Paul, ac 1 Mat 11
a ymbiliasant ag ef, 25
3 w Gan geisio ffafr yn ei erbyn ef, fel y cyrche efe w Pen 23
ef i Ierusalem: gan wneuthur cynllwyn i'w ladd ef ar 15 Pen 24.5
y ffordd. Dan 9, 7
4 x A Ffestus a attebodd, Y cedwid Paul yn Cæsarea, Sal 140,5
ac yr ae efe ei hun yno ar fyrder. x Job 5 13
5 y Y neb a allo yn eich mysc chwi (ebr efe) deued Pen 23
gyd â ni, ac os bydd dim drwg yn y gwr hwnnw, 11 y Deut 19
cyhudded ef. 16, 18
6 Ac efe a aeth i wared i Cæsarea, pryd na thrigase Rhuf 13 3
efe gyd â hwynt uwch-law deng-nhiwrnod, a thran-
noeth efe a eisteddodd yn yr orsedd ac a archodd
ddwyn Paul atto.
7 A Phan ddaeth efe, yr Iddewon y rhai a ddaethant
o Ierusalem i wared, a safasant o'i amgylch, ac a ddug-
asant lawer o achwynion trymion yn erbyn Paul y rhai
nis gallent eu profi.
8 z Ac yntef yn atteb, na phechase efe ddim nac yn z 1 Cor 9
erbyn cyfraith yr Iddewon, nac yn erbyn y Deml, nac 20
yn erbyn Cæsar.
9 Eithr Ffestus yn chwennych dangos ffafr i'r Idd-
ewon a attebodd, ac a ddywedodd wrth Paul, A fynni
di ddyfod i fynu i Ierusalem i'th farnu yno ger fy
mron i am y pethau hyn? a Mat 10
10 a A Phaul a ddywedodd, O flaen gorsedd-faingc 16 Diar 14
Cæsar yr wyfi yn sefyll, lle y mae yn rhaid fy marnu, 15 Pen 22
ni wnaethum i ddim cam a'r Iddewon megis y gwydd- 28
ost di yn dda. b Jos 22
11 b Canys os gwneuthum ddim cam, na dim yn hae- 22 1 Thes 2
ddu angeu, ni wrthodaf farw: eithr onid oes dim o'r 15 Pen 26
pethau y maent i'm cyhuddo, ni ddichon neb fy rhoddi 23
iddynt: appelio yr wyf at Cæsar. 1 Sam 27
12 c Yna Ffestus wedi darfod iddo ymddiddan a'r 1 c Sal 82,4
cyngor a attebodd, A appeliaist ti at Cæsar? at Cæsar a 44, 7
y cei di fyned. Mat 4, 4 5
13 Ac wedi darfod talm o ddyddiau, Agrippa frenin,
a Bernice a ddaethant i Cæsarea i gyfarch Ffestus. d Pen. 24
14 d Ac wedi iddynt aros yno lawer o ddyddiau, Ffes- 27
tus a fynegodd i'r brenin hanes Paul, gan ddywedyd,
Y mae [ymma] ryw wr wedi ei adel yng-harchar gan
Phelix,
15 e Am yr hwn pan ddaethym i Ierusalem yr yspys- e Ioan 18
odd yr arch-offeiriaid a henuriaid yr Iddewon i mi, 30 Ester 3,8
gan ddeisyf cael barn yn ei erbyn ef. 9 f Rhuf 2
16 f I'r rhain yr attebais, nad oedd arferol i Rufein- 15
wyr roddi neb iw ddifetha, nes cael o'r cyhuddol ei Deut. 19
gyhudd-wyr yn ei wyneb, a chael lle i'w amddeffyn ei 17 Ioan 7,51

hun rhag y cwyn.
17 O blegit hynny, pan ddaethant ymma, yrtail dydd
heb wneuthur ymarees pan eisteddais ar y faingc, mi a
erchais ddyfod a'r gwr ger fy mron.
18 Ar ba un (pan safodd y cyhudd-wyr i fynu) ni
g Pen. 17 18 reesan t ddim achwyn o'r pethau yr oeddwn i yn tybied.
19 [g] Ond yr oedd ganddynt rai ymofynion o'i coel-
1 Cor. 2,14 fuchedd ei hunain, ac am un Iesu a fu farw, yr hwn a
Mat. 16 17 1 Cor. 1, daere Paul ei fod yn fyw.
23 20 A minne o herwydd fy mod yn ammau y fath gwest-
Dat 1,18 Mat. 1,21 iwn, a ofynnais iddo ef, A fynne efe fyned i Ierusalem a'i
farnu yno am y pethau hyn.
21 Ond gan i Paul appelio i'w gadw i wybyddiaeth
Augustus, mi a erchais ei gadw ef hyd oni anfonwn ef
at Cæsar.
22 Yna Agrippa a ddywedodd wrth Ffestus, Minne
a ewyllysiwn glywed y dyn, yntef a ddywedodd, Ti a
h Preg. 1 2 gei ei glywed ef y foru.
23 A thraunoeth pan ddaeth Agrippa a Bernice a
1 Pedr 1 24 rhwysc fawr, a myned i mewn i'r orsedd a'r pen-cap-
1 Cor. 7 31 teniaid, a phendefigion y ddinas wrth orchymyn Ffes-
Rhuf. 8 28 tus, fe gyrchwyd Paul.
24 [i] A Ffestus a ddywedodd, O frenin Agrippa, a
Sal. 36, 6 chwithau oll sydd gyd â ni yn bresennol, chwi a wel-
i Gen. 19 4 wch y dyn hwn oblegit pa un y galwodd holl dyrfa yr
Pen. 21 30 Iddewon arnaf, yn Ierusalem ac ymma, gan lefain, na
Pen. 21 36 ddylé efe fyw yn hwy.
25 [j] Eithr myfi heb gael ynddo ddim a haedde angeu,
j Ioan 18 38 ac yntef wedi appelio at Augustus, a fernais [yn oref]
Pen. 18, 18 16 ei ddanfon ef.
a 26, 31 26 Am yr hwn [wr] nid oes gennif ddim siccrwydd
yw scrifennu at [fy] arglwydd, o herwydd pa ham mi
a'i dugym ef attoch chwi, ac yn henwedio attat ti O
frenin Agrippa, fel y caffwyf wedi ei holi ef beth i'w
scrifennu.
k Luc 19 22 27 [k] Canys allan o reswm y gwelaf fi anfon carcharor,
Sal. 82, 4 ac heb yspysu y matterion [sy] yn ei erbyn ef.

## PEN. XXVI.

*Paul yn dangos i Agrippa ddull ei alwedigaeth. 24. Barn ched Ffestus, ac atteb Paul iddi. 28. Agrippa ym mron credu.*

1 Esa. 65, 2 YNA [l] y dywedodd Agrippa wrth Paul, Y mae cen-
nad i ti ddywedyd trosot dy hunan, yna Paul, gan
estyn ei law, a'i amddeffynnodd ei hun:
2 Dedwydd yr wyfi yn bwrw fy mod fy hun (O fren-
in Agrippa) am gael o honofi heddyw fy amddeffyn fy
hun ger dy fron di, am yr holl bethau i'm cyhuddir gan
yr Iddewon:
m 1 Cron. 3 [m] Ac yn bendifaddeu, am dy fod ti yn gwybod oddi
13, 7 Deut. 17 wrth yr holl ddefodau a'r holion sydd ym mhlith yr
18 Iddewon: am hynny yr ydwyf yn attolygu i ti fyng-
wrando yn oddefgar.
4 [n] Ac am fy muchedd o'm mebyd, yr hon a ddech-
n Pen. 23 1 reuwyd ym mysc fyng-henedl yn Ierusalem, yr Iddew-
Marc 16 21 on oll a wyddant oddi wrthi.
5 Y rhai a'm hadwaenent i o'r cyntaf (os mynant des-
tiolaethu) fy mod i yn byw yn ol y sect fanylaf o'n
o Gen. 3 crefydd ni, yn Pharisead.
15 6 [o] Ac yn awr, yr wyfi yn sefyll i'm barnu, am ob-
Rhuf. 1, 2 3 aith yr addewid, yr hwn a wnaed gan Dduw i'n tadau
2 Cor. 1 ni.
20 7 [p] I'r hwn y mae ein deuddec llwyth ni gan wasan-
p Iago 1 1 aethu Duw eb dorr ddydd a nos, yn gobeithio dyfod,
Ioan 7, 40 o achos yr hon obaith yr ydwyf wedi i'r Iddewon (O
Pen. 13 33 frenin Agrippa) achwyn arnaf,
8 Pa ham? ai anghredadwy yw gennych chwi, y cyf-
yd Duw y meirw eil-waith?
9 [q] A minne yn wir a dybiaswn fod yn rhaid i mi q Ioan 16 2
wneuthur llawer yn erbyn enw Iesu o Nazareth. 1 Cor. 15
10 Yr hwn beth a wnaethym yn Ierusalem, a llawer 11
o'r sainct a gaeais i mewn carcharau, wedi cael awdur- Diar. 28 13
dod gan yr arch-offeiriaid, ac wrth eu difetha, mi a
roddais farn.
11 [r] Ac myfi yn eu cospi yn fynych ym mhob Synag- r 1 Tim. 1 13
og, a'u cymhellais i gablu, a chan ynfydu yn ei herbyn
yn fwy, mi a'u herlidiais hyd y dinasoedd dieithr.
12 [s] Ac yn hyn, fel yr oeddwn yn myned i Ddamas- s 1 Bren.
cus, ac awdurdod, a chennad yr arch-offeiriaid, 21, 8 Esa. 10, 1
13 [t] Ar hanner dydd (O frenin) ar y ffordd y gwelais t Mat. 17 2
oleuni o'r nef yn ddisclaerach na'r haul yn tywynnu Ioan 1, 7
o'm hamgylch, a'r rhai oeddynt yn myned gyd â mi. Mal. 4, 2
14 Ac wedi i ni oll syrthio ar y ddaiar, mi a glywais
leferydd yn llefaru wrthif, ac yn dywedyd yn Hebræ-
aec, Saul, Saul, pa ham yr ydwyt yn fy erlid i? caled
yw i ti wingo yn erbyn swmbylau.
15 Yna y dywedais inne, Pwy wyt ti, O Arglwydd?
ac efe a ddywedodd, Myfi yw Iesu yr hwn yr wyt ti
yn ei erlid.
16 [u] Eithr cyfod, a saf ar dy draed: canys o achos u Heb. 5
hyn yr ymddangosais i ti, er mwyn dy osod ti yn 4 Mat. 13
weinidog, ac yn dyst o'r pethau a welaist, ac o'r 12
pethau yr ymddangosaf i ti ynddynt: Ioan 1 50
17 [v] Gan dy wared di oddiwrth y bobl a'r cenhedl- v 2 Cor. 1
oedd, at ba rai yr ydwyf yn dy anfon di yr awron: 10 2 Tim. 4
18 [w] Fel yr agorech eu llygaid, i droi oddi wrth y 17, 18
tywyllwch i'r goleuad, ac o feddiant Satan at Dduw, w Luc 4 18
er mwyn cael o honynt feddeuant am bechodau, a 2 Cor. 4, 4
chyfran ym mysc y rhai a sancteiddiwyd trwy ffydd, 2 Tim. 2 26
yr hon sydd ynof fi. Pen. 10
19 [x] Am ba achos (O frenin Agrippa) ni bum anufydd 43
i'r weledigaeth nefol. x Heb. 11 7
20 [y] Eithr mi a bregethais yn gyntaf i'r rhai yn Da- Iona 1, 2 3
mascus, ac yn Ierusalem, a thros wlad Iudæa oll, ac Pen. 9. 20
i'r cenhedloedd i edifarhau, a dychwelyd at Dduw, z Rhuf. 16 19
gan wneuthur gweithredoedd addas i edifeirwch. Sal. 119
21 O achos y pethau hyn yr Iddewon wedi fy nal i 60
yn y Deml a geisiasant fy lladd i â'u dwylo [eu hun.] Pen. 14. 15 2 Cor. 12
22 [z] Er hyn, a Duw i'm cymmorth, yr wyfi etto yn 9
aros hyd y dydd hwn, gan destiolaethu i fychan a
mawr, ac heb ddywedyd dim ond a ddywedase y pro-
phwydi a Moses o'r blaen, y delent:
23 [a] Y dioddefe Crist, ac y bydde yn gyntaf o adgyf- a 1 Cor 15 22. 23
odiad y meirw, ac y dangose oleuad i'r bobl hyn, ac Dat. 1, 5
i'r cenhedloedd. Luc 1, 79
24 Ac fel yr oedd efe yn rhoddi trosto fel hyn Ffes-
tus a ddywedodd â llef uchel, Paul yr wyt ti yn yn-
fydu, llawer o ddysc sydd yn dy yrru di yn ynfyd.
25 Yna y dywedodd yntef, O ardderchoccaf Ffestus,
nid wyfi ynfyd, eithr geiriau gwirionedd a sobr-
wydd yr wyfi yn eu hadrodd. b Luc 24 18
26 [b] Canys y brenin a wyr hyn ger bron yr hwn wyf
yn ymadrodd yn hyf, o herwydd yr wyf yn tybied c Marc 13
nad oes dim o hyn yn guddiedic iddo: o blegit ni 34 Mat. 13
wnaethpwyd hyn mewn congl. 20, 21
27 Oh frenin Agrippa, a wyt ti yn credu i'r pro- Ioan 5 35
phwydi? mi a wn dy fod yn credu. Heb. 4, 12
28 [c] Agrippa a ddywedodd wrth Paul, Yr wyt o d Rhuf. 9 2
fewn ychydig i'm hennill i fod yn Gristion. Pen. 18, 6
29 [d] A Phaul a ddywedodd, Mi a ddymunwn gan a 28, 16
Dduw o fewn ychydig, ac yn gwbl oll, fod nid tydi 2 Tim. 1 16

yn unic, onid pawb a'r sydd yn fyng-wrando heddyw,
yn gyfryw ag wyfi, ond y rhwymau hyn.
30 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, y brenin a'r rhag-
law, a Bernice a gyfodasant, a'r rhai oeddynt yn eis-
p Rhuf. 1 tedd gyd â hwynt.
18. a 2, 19 31 p Ac wedi iddo fyned o'r neilldu, hwy a ddywed-
Pen. 25 asant wrth eu gilydd, Nid yw'r dyn hwn yn gwneu-
26, 27 thur dim i haeddu angeu na charchar.
32 Yna y dywedodd Agrippa wrth Ffestus, Fe all-
asid gollwng y dyn ymma ymmaith, oni buase iddo
appelio at Cæsar.

## PEN. XXVII.

*Taith Paul a'i gyfeillion tu a Rhufain, a'u peryglon.*

f Pen. 25 GWEDI f darfod cytuno i forio o honom i'r Ital,
12 Gen. 50 hwy a roesant Paul a rhyw garcharorion eraill at
20 Preg. 9, 2 Ganwriad yr hwn a enwid Julius o fyddin Augustus,
g Pen. 19 2 g A dringo a wnaethom i long o Adramytium, ar
20 a 20, 4 fedr hwylio i duedd Asia, ac ni a gychwnnasom, a
chyd â ni yr oedd Aristarchus o Macedonia o [wlad]
Thessalonia.
3 A thrannoeth ni a diriasom yn Sydon, ac Iulius
gan fod yn gymmwynasgar wrth Paul, a roddes iddo
gennad i fyned at ei gyfeillion, i gael ymgeledd.
h Pen. 11 19 4 h Ac yn myned oddi yno, nyni a hwyliasom tann
a 13, 4 Cyprus, am fod y gwynt i'n herbyn.
i Pen. 6, 9 a 15, 23 41 5 i Ac wedi hwylio o honom tros y môr ger llaw
Pen. 2, 10 Cilicia a Pamphilia, nyni a ddaethom i Myra [dinas]
o Lycia.
6 Ac yno y canwriad yn cael llong o Alexandria yn
j Tit. 1, 5 myned i'r Ital, a'n gosodes ni ynddi.
7 j Ac wedi i ni hwylio yn anniben lawer o ddyddiau,
a dyfod yn brin ger llaw Guidum, am na adawe y
gwynt i ni: ni a hwyliasom is law Creta, ger llaw Sal-
mone,
8 A braidd yr hwyliasom heibio iddi, ac ni a ddaeth-
om i ryw le a alwant y porthladdoedd prydferth, at
ba rai yr oedd dinas Lasæa yn gyfagos.
9 Ac yn ol hir o amser, pan oedd yn enbyd morwr-
iaeth, a darfod hefyd yr ympryd, Paul a'u cynghorodd
hwynt, gan ddywedyd wrthynt,
10 Och wyr, mi a welaf y bydd yr hynt hon drwy
niwed a cholled fawr, nid am y llwyth a'r llong yn
k Luc 12 unic, eithr ein heinioes ni hefyd.
15 11 k Er hynny ei gyd, mwy y credodd y canwriad i
Ioan 5. 43 lywydd y llong, ac i'r meistr, nag i'r pethau a ddy-
wedase Paul.
l 1 Cor. 2 12 l A phan nad oedd y porthladd yn dda i aiafu, yr
14 Mat. 16 rhan fwyaf o honynt a ymgynghorasant, forio oddi
24 yno os bydde fodd i allu dyfod i Phænice, a gaiafu
1 Cor. 3 yno, yr hwn sydd borthladd yn Creta, ar gyfer y
15 deau-orllewin a gogledd-orllewin.
m Preg. 7 13 m A phan chwythodd y deheu-wynt, hwynt hwy
8 a dybiasant gaffael eu meddwl, ac wedi iddynt gych-
wyn, hwy a hwyliasant yn agos i Creta.
n Sal. 37 14 n Ond cyn nemawr y cyfododd yn ei herbyn hi
35 dymestl-wynt yr hwn a elwir Euroclyddon.
Preg. 11 9 15 o A phan ddaliwyd y llong, ac na alle wrth-ladd y
o Sal 127 gwynt, nyni a ymroesom, ac ni a ddygwyd [gyd a'r
1, 2 Jona 1, gwynt.]
13 16 A phan daflwyd ni goris ynys fach a elwir Clau-
da, braidd y gallasom gael y bâd:
17 Yr hwn a godasant i fynu, ac hwy a gydgyn-
horthwyasant gan gylchu y llong, ac ofni a wnaethant
rhag taro ar sugn-draeth: ac hwy a ostyngasant yr
hwyl, ac felly y dygwyd hwynt.

18 A phan gyfododd garw-for tymhestlog drannoeth
arnom ni, hwy a ysgafnhausant y llong.
19 A'r trydydd dydd y bwriasom â'n dwylo ein hun-
ain daclau y llong allan.
20 A phan nad ymddangosodd na haul, na sêr, dros
lawer o ddyddiau, a thymestl nid bychan ar ein gwar-
tha, dygwyd pob gobaith oddi arnom y byddem ni
gadwedig.
21 A phan fuase bellach hir ympryd, yna y safodd
Paul yn eu canol hwy, ac a ddywedodd, Och wyr,
chwi a ddylasech wrando arnafi a pheidio a chych-
wyn o Creta, a diangc rhag y perygl a'r golled ymma.
22 p Ac yr awr hon yr wyfi yn eich rhybuddio chwi ar p 2 Tim. 2
fod yn dda eich cyssur, can na chollir bywyd un o hon- 9
och ond y llong yn unic.
23 q Canys angel Duw yr hwn a'm piau, a'r hwn yr q Heb. 1 14
wyf yn ei addoli, a safodd yn fy ymyl y nos hon, 2 Bren. 6
24 r Gan ddywedyd, Nac ofna Paul, rhaid i ti sefyll 17
ger bron Cæsar, ac wele, fe roddes Duw i ti y rhai oll r Gen. 18 32
y sy yn morio gyd â thi. a 9, 31
25 s Am hynny cymmerwch gyssur (o wŷr) canys yr Job 22 30
wyf fi yn credu i Dduw y bydd fel y traethodd efe s Rhuf. 4
wrthif: 20
26 Ond y mae yn rhaid i ni ddyfod i ryw ynys.
27 Ac wedi dyfod y bedwaredd nos ar ddec, fel yr
oeddem yn morio yn Adria yng-hylch hanner nos, y
morwyr a dybiasant eu bod yn neshau i ryw dir.
28 Ac hwy a blymiasant, ac a'i cawsant yn ugain
gwryd, ac wedi myned ychydig pellach, hwy a blym-
iasant eil-waith, ac a gawsant bymthec gwryd.
29 t Ac hwy yn ofni rhag syrthio mewn lleoedd geir- t Dat. 5, 2
won, hwy a fwriasant allan bedair angor o'r llyw, ac a Barn. 16
ddeisyfiasant ei myned hi yn ddydd. 4, 21
30 Ac fel yr oedd y llong-wyr yn ymceisio ymadel â'r
llong, wedi bwrw y bâd i wared i'r môr, fel pe buasai
yn eu bryd fwrw allan angorau o'r pen blaen hefyd,
31 Dywedodd Paul wrth y canwriad, a'r mil-wyr,
Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn
gadwedig.
32 Yna y torrodd y milwyr raffau y bâd, ac a adaw-
sant iddo fyned ymmaith.
33 A thra fu hi yn dyddhau, Paul a eiriolodd ar bawb
gymmeryd bwyd, gan ddywedyd, Dymma y pedwer-
ydd dydd ar ddec gan ddisgwil, yr arhoesoch ar eich
cythlwng heb gymmeryd ddim [bwyd.]
34 u Am hynny fyng-hyngor i i chwi yw cymmeryd u Eph. 5 29
bwyd; o blegit hynny fydd eich iechydwriaeth chwi: 1 Tim. 5
canys ni syrth blewyn o ben un o honoch chwi. 23
35 v Ac wedi iddo ddywedyd hyn, gan gymmeryd v Mat. 14 19
bara, efe a ddiolchodd i Dduw yn eu gŵydd hwynt Col. 4, 5
oll, ac a'i torrodd, ac a ddechreuodd fwyta.
36 w A phawb oll wedi myned yn gyssurol, a gym- w Sal. 30 11
merasant fwyd hwythau.
37 Ac yr oedd o honom ni oll yn y llong, ddau cant,
ac un ar bymthec a thrugain o eneidiau.
38 x Ac wedi cael digon o fwyd, hwy a ysgafnhau- x 1 Tim. 6 17
sant y llong, gan fwrw y gwenith i'r môr. 2 Cor. 11
39 Ac wedi ei myned hi yn ddydd, ni adnabuant hwy 25
y tir, ond hwy a ganfuasant ryw gilfach, ac iddi dor-
lan, lle y meddyliasant (os gallent) wthio y llong i
mewn.
40 Ac wedi iddynt godi yr angorau, yr ymroesant i'r
môr, ac a ollyngasant yn rhydd rwymau y llyw, ac a
godasant yr hwyl i'r gwynt, ac a geisiasant y lann.
41 Ac wedi i ni syrthio ar draethell dau-for, a gwthio

y llong, y pen blaen a lynodd heb allu symudo, eithr
y pen ol a ddrylliodd gan nerth y tonnau.
y Sal.109 42 y A chyngor y milwyr oedd lladd y carcharorion,
4 1 Sam. 19 rhag i un o honynt wedi nofio allan ddiangc ymmaith.
4 43 Ond y cannwriad yn ewyllysio cadw Paul a rwys-
trodd iddynt eu hamcan, ac a archodd i bawb a'r a
fedre nofio, gan ymfwrw yn gyntaf i'r môr, ddiangc i
dir.
44 A'r lleill [a aethant] rai ar ystyllod, ac eraill o'r
ryw ddrylliau o'r llong, ac felly y daeth pawb i dir yn
ddiangol.

## PEN. XXVIII.

*Y wiber yn brathu Paul, a barn yr estroniaid am hynny.* 7. *Paul yn iachau tad Publius ac eraill.* 16. *Paul yn dyfod i mewn i Rufain.* 17. *Yn dywedyd ei hanes wrth yr Iddewon yno.* 23. *Yn pregethu y gair i mewn ac allan.*

AC wedi iddynt ddiangc yn iach i'r lann, yna y
gwybuant mai Melita y gelwid yr ynys.
z Pen. 27 13 2 z A'r Barbariaid a ddangosasant i ni fwyneidd-dra
Sal.105,18 14 nid bychan, o blegit hwy a gynneuasant dân, ac a'n
Heb.13,2 derbyniasant ni oll rhag y gafod gynnyrchiol, a rhag
1 Brea. 17 9 yr oerni.
a Mat.7,3 3 a Ac wedi cynnull o Paul ddyrnaid o friwydd, ai
2 Cor. 11 16 dodi ar y tân, gwiber a ddaeth allan rhag y gwres, ac
a ruthrodd i'w law ef.
b Luc 13 2 4 b A phan welodd y barbariaid y pryf yn crogi wrth
ei law ef; hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Yn siccr
Rhuf. 2 15 llawruddiog yw y dyn ymma, yr hwn er ei ddiangc ar
y môr nis gad dialedd i fyw.
c Marc 16 18 5 c Eithr efe a escydwodd y pryf yn tân, ac ni oddef-
odd ddim niwed.
6 Ond yr oeddynt hwy yn disgwil iddo ef chwyddo,
a syrthio yn ddisymmwth yn farw, ac wedi darfod idd-
ynt hir ddisgwil, ac heb weled niwed yn digwyddo
iddo ef, hwy a newidiasant, ac a ddywedasant, ei fod
efe yn Dduw.
d Pen. 27 37 7 d Yng-hylch y man hwnnw yr oedd tyddyn i ben-
Mat 8,14 naeth yr ynys, ei enw oedd Publius, yr hwn a'n cym-
merth ni dri-diau, ac a'n lleteuodd yn garedig.
8 Ac fe ddigwyddodd fod tad Publius yn glaf o gryd
a gwaedlif, at yr hwn pan aeth Paul i mewn a gweddio,
a dodi ei ddwylo arno, efe a'i iachaodd ef.
9 Ac wedi gwneuthur hyn, eraill hefyd o'r ynys y
rhai yr oedd heintiau arnynt a ddaethant atto, ac hwy
a iachawyd.
10 Y rhai a'n parchasant ni âg urddas mawr, ac wrth
longi o honom, hwy a'n llwythasant â pethau angen-
rheidiol.
11 Ac ar ben y tri-mis yr aethom mewn llong o
Alexandria, yr hon a aiafase yn yr ynys, ai harwydd
hi oedd Castor a Pholux
12 Ac wedi ein dyfod ni i Syracusa y trigasom [yno]
dri-diau.
13 Ac oddi yno y cyrchasom o amgylch, ac a ddaeth-
om i Rhegium, ac yn ol un dydd y chwythodd y
dehau-wynt, ac y daethom yr ail dydd i Puteol.
Rhuf. 1 14 e Yna y cawsom frodyr, ac fe a ddymuned arnom
Mat.17,18 aros gyd â hwynt saith niwrnod, ac felly ni a ddaeth-
om tu a Rhufain.
15 f Ac oddi yno pan glybu 'r brodyr oddi wrthym, f 2 Tim. 1 16
hwy a ddaethant i gyfarfod â ni hyd ym marchnad Heb.13,3
Appiphorum, a'r tair Tafarn, y rhai pan welodd Paul, 1 Cor. 12 21
efe a ddiolchodd i Duw, ac a gymmerodd gyssur.
16 g Eithr pan ddaethom i Rufain, y Canwriad a g Pen. 23 11
roddes y carcharorion at y capten uchaf, ond fe adaw-
yd Paul i aros o'r neilldu gyd a milwr yr hwn oedd yn
ei gadw ef.
17 h Ar ben y trydydd dydd fe ddarfu i Paul alw h Rhuf. 5 8
yng-hyd bennaethiaid yr Iddewon, ac wedi eu hym-
gynnull y dywedodd efe wrthynt (O wŷr frodyr,) Sal.111, 5
myfi, er na wnaethym ddim yn erbyn y bobl, na de-
fodau y tadau, a roddwyd yn garcharor o Ierusalem
i ddwylo Rhufein-wyr.
18 i Y rhai wedi darfod fy holi, a fynasent fyng- i Pen. 26 31
ollwng ymmaith, am nad oedd dim achos angeu ynof.
19 j Eithr am fod yr Iddewon yn dywedyd yn er- j Mat. 10 16, 17
byn hyn, mi a yrrwyd i appelio at Cæsar, nid am fod
gennif ddim i achwyn ar fyng-henedl. 1 Cor. 13 5, 7
20 k Ac am yr achos ymma y gelwais am danoch k Pen. 26 6, 7
chwi, i'ch gweled, ac i ymddiddan â chwi, canys am
obaith yr Israel i'm rhwymwyd â'r gadwyn hon.
21 l A hwythau a ddywedasant wrtho, Ni chawsom l Pen. 24 4
ni na llythyrau o Iudæa am danat, ac ni ddaeth neb
o'r brodyr i ddywedyd nac lefaru dim drwg am danat.
22 m Ond ni a fynnem glywed gennit ti, beth yw dy
feddwl, o blegit mae yn yspys gan bawb am y sect hon, m Luc 2 34
fod ym mhob man yn dywedyd yn ei herbyn hi. Ioan 7,48
23 n Ac wedi iddynt nodi diwrnod iddo, llawer a Mat 7,13
ddaeth atto ef i'w letty, i'r rhai yr eglurodd ac y test- n Esa 8 20
iolaethodd efe am deyrnas Dduw, gan gynghori idd- Pen 18 28
ynt y pethau a berthynent am Iesu Grist, o gyfraith
Moses, a'r prophwydi, o'r boreu hyd yr hwyr.
24 o A rhai a gredasant i'r pethau a ddywedasid, ac o Pen 13 48
eraill ni chredasant. a 17, 34
25 A phryd nad oeddynt yn cydgordio yn eu plith
eu hunain, ymadel a wnaethant, wedi i Paul ddywed-
yd y gair hwn, Da yn wir y llefarodd yr Yspryd Glân
wrth ein tadau drwy Esaias brophwyd:
26 p Gan ddywedyd, Dos at y bobl ymma, a dywet, p Mat 13 14
Yn clywed y clywch, ac ni ddeallwch, ac yn gweled
y gwelwch, ac ni chanfyddwch.
27 q Canys bras-hawyd calon y bobl hyn, a thrwm y q 2 Pedr 3, 5
clywsant â'u clustiau, a'u llygaid a gaeasant, rhag 2 Thes. 2 11
iddynt weled â'u llygaid na chlywed â'u clustiau, na
deall â'u calonnau, a dychwelyd fel yr iachawn hwynt.
28 r Bydded hyspys i chwi, ddanfon iechydwriaeth r Tit. 2. 11
Dduw i'r Cenhedloedd, ac hwy a'i gwrandawant. Pen 13 46
29 s A phan ddarfu iddo ddywedyd hyn, yr Iddewon Luc 24 47
a aethant allan, a llawer o ymrafaelion ganddynt. s Mat 10 34
30 t A Phaul a arhoes gwbl o ddwy flynedd yn ei dŷ t 2 Tim 4 6
ardrethol, ac a dderbyniodd bawb ar a ddaeth i mewn
atto, Mat 23 19
31 u Gan bregethu teyrnas Dduw, a dyscu y pethau u 2 Tim 1 12
a berthynent am yr Arglwydd Iesu Grist â phob hyder,
heb ei waharddd. Pen 18 10 11

**DIWEDD GWEITHREDOEDD YR APOSTOLION.**

# EPISTOL PAUL YR APOSTOL

AT Y

# RHUFEINIAID.

## PENNOD I.

*2 Y mae Paul yn dangos gan bwy, ac i ba beth y galwyd ef. 13 Ei barawd ewyllys ef i ymweled â hwynt. 16 Pa beth yw'r Efengyl. 20. Mwyniant y creaduriaid, ac i ba beth y gwnaethpwyd hwy. 21. 24 Angharedigrwydd, drygioni, a phoen yr annuwiol.*

aGal.1,15 PAUL [a] gwasanaethwr Iesu Grist, yr hwn a alwyd
Act.13, 2 yn Apostol, ac a neilltuwyd i Efengyl Dduw,
2 (Yr hon a ragaddawse efe trwy ei brophwydi yn
yr scrythurau sanctaidd)
bGal.4, 4 3 [b] Am ei Fab Iesu Grist ein Arglwydd ni (yr hwn a
Ioan 1,14 ddaeth o hâd Dafydd o ran y cnawd:
Pen. 9, 5
cMat. 27 4 [c] Ac a eglurwyd yn nerthol yn Fab Duw, yn ol
40 Yspryd sancteiddiad, trwy adgyfodiad y meirw)
d1Tim. 1 5 [d] Trwy 'r hwn y derbynniasom ni ras ac Apostol-
13 iaeth (fel y bydde ufydd-dod i'r ffydd) yn ei enw ef
ym mhlith yr holl genhedloedd,
6 Ym mysc y rhai yr ydych chwi hefyd yn alwedig-
ion Iesu Grist:
7 Attoch oll y rhai sy yn Rhufein yn annwyl gan
Dduw wedi eich galw [i fod] yn sainct: Gras fyddo i
chwi, a thangneddyf gan Dduw ein Tad, a chan yr Ar-
glwydd Iesu Grist.
e Pen 16 8 [e] Ac yn gyntaf yr wyf yn diolch i'm Duw trwy Iesu
19 Grist trosoch-chwi oll, o blegit bod eich ffydd chwi yn
gyhoeddus dros yr holl fyd.
f Iago 5 9 [f] Canys Duw sydd yn dyst i mi (yr hwn yr ydwyf
16 yn ei wasanaethu yn fy yspryd yn Efengyl ei Fab ef,)
Col. 1, 3 fy mod yn ddibaid yn gwneuthur coffa am danoch.
g Iago 4 10 [g] Yn oestadol yn fyng-weddiau, gan ddeisyf cael o
13 honof ryw amser weithian rwyddhynt ryw fodd trwy
Act. 16, 6 ewyllys Duw, i ddyfod attoch.
7
h1Cor.12 11 [h] Canys y mae yn hir gennif nes eich gweled, fel
4
Ioan 21, y gallwyf gyfrannu i chwi ryw ddawn ysprydol, i'ch
16 cadarnhau:
i 1Pedr 5 12 [i] Hynny yw, i ymgyssuro gyd â chwi trwy ffydd
1
Col. 1, 7 eu gilydd: [sef] yr eiddoch chwi a minne.
a 4. 7 13 [j] Ac ni fynnwn i O frodyr nas gwyddech arfaethu
Heb. 9, 9
jAct.16, 6 o honof yn fynych ddyfod attoch, (eithr mi a ludd-
Col. 1, 6 iwyd hyd yn hyn) fel y caffwn beth ffrwyth hefyd yn
eich plith chwithau, megis y mae i mi ym-mhlith y
Cenhedloedd eraill.
k 1Cor. 9 14 [k] Dyled-ŵr ydwyf i'r Croegiaid, ac i'r Barbariaid
16
Col.3, 11 hefyd, i'r doethion, ac i'r annoethion hefyd.
15 Am hynny, hyd y gallwyf, parod ydwyf i breg-
ethu yr Efengyl i chwithau hefyd y rhai ydych yn
Rhufain.
l2Cor. 10 16 [l] Canys nid cywilyddus gennif Efengyl Grist, o
4
Act. 13 blegit gallu Duw yw hi i iechydwriaeth, i bob un ar
46 sydd yn credu: i'r Iddew yn gyntaf, a hefyd i'r
Groeg-wr.
mPhil. 3 17 [m] Canys trwyddi hi y datcuddir cyfiawnder Duw o
9 ffydd i ffydd: megis y mae yn scrifennedig, Y cyf-
iawn fydd byw trwy ffydd.
18 Canys digofaint Duw a ddatcuddiwyd o'r nef yn
erbyn pob annuwioldeb, ac ang-hyfiawnder dynion, y
rhai ydynt yn attal y gwirionedd mewn ang-hyfiawn-
der.
19 Canys cymmaint ac a ellir ei wybod am Dduw
sydd amlwg ynddynt hwy: canys Duw a'i hamlygodd
iddynt.
20 [n] O blegit ei anweledigion bethau ef, [nid amgen] n Act. 17
ei allu tragywyddol a'i dduwdod y rhai a ddehellir 24
wrth y pethau a wnaed o greddwriaeth y byd, megis Luc 19
y byddent hwy yn ddiescus. 20
21 O blegit hwynt hwy yn adnabod Duw, ni roesant
ogoniant iddo megis i Dduw, ac ni ddiolchasant iddo,
eithr ofer fuant yn eu rhesymmau, a'u calon anneall-
gar ydoedd yn llawn tywyllwch.
22 [o] Pan dybient eu bod eu hunain yn ddoethion, o 1Cor. 1
ffyliaid oeddent. 22
Act.17,18
23 Canys hwynt hwy a newidiasant ogoniant yr an-
llygredic Dduw, i lun delw lygredic ddyn, ac ehediaid,
ac anifeiliaid pedwar carnol, ac ymlusciaid.
24 [p] O herwydd pa ham y rhoes Duw hwy i fynu yn p Sal. 106
nhrachwantau eu calonnau, i aflendid, i amherchi eu 20
cyrph eu hun yn eu plith eu hunain: a 81, 13,
25 [q] Y rhai a droasant wirionedd Duw yn gelwydd, q Heb. 3
ac a addolasant, ac a wasanaethasant y creadur yn fwy 18
na'r Creawdr yr hwn sydd fendigedic yn oes oesoedd, Hos.10, 8
Amen. a 12, 1
Esa.44,10
26 [r] O blegit hynny y rhoddes Duw hwynt i fynu i r1Cor.11
wyniau gwarthus: canys eu gwragedd hwy a newid- 14
iasant yr arfer anianol i'r hon sydd yn erbyn anian. Judas 7
27 [s] Ac yn gyffelyb hefyd y gwŷr gan adel yr arfer s Gen. 19
naturiol o'r wraig, a ymloscent yn eu hawydd i'w gil- 5
ydd, gan i'r gwrywaid wneuthur yr hyn oedd warthus Lef.18, 22
â gwrywaid, a derbyn ynddynt eu hunain y cyfryw Dat.17, 2
dal tros eu cyfeiliorni, ac ydoedd raid.
28 [t] Canys megis ni bu wiw ganddynt hwy adnabod t Eph. 4
Duw, felly y rhoddes Duw hwynt i fynu i feddwl ang- 18
hymmeradwy i wneuthur y pethau nid oeddynt wedd-
aidd,
29 [u] Yn llawn o bob anghyfiawnder, godineb, anwir- u2Pedr 2
edd, cribddeiliaeth, drygioni: yn llawn cenfigen, llof- 14
ruddiaeth, cynnen, twyll, drwg-anwydau:
30 Yn hystingwyr, yn athrodwyr, yn gas ganddynt
Dduw, yn drahaus, yn feilchion, yn ffrostwyr, yn
ddychymmygwyr drygioni, yn anufydd i'w rhieni,
31 Yn angall, yn rhai yn torri ammod, yn anghared-
ig, yn anghymmodlon, yn anrhugarogion.
32 Y rhai yn gwybod cyfraith Dduw (fod y rhai sy
yn gwneuthur y cyfryw bethau, yn haeddu marwol-
aeth) [ydynt] nid yn unic yn gwneuthur y pethau hyn,
eithr hefyd yn cydsynnio â'r rhai sy yn eu gwneuthur
hwynt.

## PEN. II.

*Y mae yn gyrru ofn ar ragrithwyr a barn Duw. 7 Yn cyssuro y ffyddloniaid. 12 Ac er mwyn curo i lawr pob escus, y mae efe yn profi bod pawb yn bechaduriaid. 15 Y cenhedloedd wrth gydwybod, 17 A'r Iddewon wrth y ddeddf scrifennedic.*

yGen. 18 AM y hynny diescus wyt ti O ddyn, pwy bynnac
24 wyt yn barnu: canys yn yr hyn yr wyt yn barnu
Ioan 8, 5 arall, yr wyt yn dy gondemnio dy hun: canys ti yr
7 hwn wyt yn barnu arall, wyt yn gwneuthur yr un
pethau.
2 Eithr gwyddom fod barn Duw yn ol gwironedd
w 2 Sam. yn erbyn y rhai a wnant gyfryw bethau.
12, 5, 6 3 w Ac a wyt ti yn tybied hyn, O ddyn yr hwn wyt
yn barnu y rhai sy yn gwneuthur y cyfryw bethau, a
[thi] yn gwneuthur yr un rhyw, y diengi di rhag
barn Duw:
4 Neu a wyt ti yn diystyru golud ei ddaioni ef, a'i
ddioddefgarwch, a'i ymaros, heb gydnabod fod da-
ioni Duw yn dy dywys di i edifeirwch.
x Iago 5 5 x Eithr ty-di yn ol dy galedrwydd, a'th galon ddi-
3 edifeiriol, wyt yn tyrru i ti dy hun ddigofaint erbyn
Preg. 8 dydd y digofaint, a datgeuddiad cyfiawn farn Dduw.
11 6 y Yr hwn a rydd i bawb yn ol ei weithredodd.
yDat. 22
12
Mat. 16 7 Sef, bywyd tragwyddol i'r rhai gan barhau yn
27 gwneuthur daioni, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd,
ac anllygredigaeth,
z Tim. 3 8 z Eithr i'r rhai sy yn gynhennus, ac nid ydynt yn
8 ufyddhau y gwirionedd, eithr ydynt yn ufyddhau an-
wiredd, [y bydd] llid a digofaint.
a Amos 3 9 a Trallodd ac ing fydd ar bob enaid a wna ddrwg,
2 i'r Iddew yn gyntaf, ac hefyd i'r Groeg-wr.
Luc 12, 42 10 Eithr i bob un a wna ddaioni y bydd gogon-
iant, ac anrhydedd, a thangnheddyf, i'r Iddew yn gyn-
taf, ac hefyd i'r Groeg-wr.
11 Canys nid oes dderbyn wyneb ger bron Duw.
b Sal. 147 12 b O blegit pa sawl bynnac a bechasant yn ddi-
19, 20 ddeddf, a gyfrgollir hefyd yn ddi-ddeddf, a pha sawl
Pen. 3, 2 bynnac a bechasant yn y ddeddf, hwy a fernir wrth
y ddeddf.
13 (Canys nid gwranda-wyr y ddeddf ydynt gyfiawn
ger bron Duw: eithr gwneuthur-wyr y ddeddf a gyf-
iawnheuir.
c 1 Cor. 5 14 c O blegit pan wnelo y cenhedloedd, y rhai nid
1 yw'r ddeddf ganddynt wrth naturiaeth y pethau sy yn
y ddeddf, hwynt hwy heb fod deddf ganddynt, ydynt
ddeddf iddynt eu hunain:
d Mat. 7 15 d Y rhai ydynt yn dangos gweithred y ddeddf yn
12 scrifennedig yn eu calonnau, a'u cydwybod hefyd yn
Barn. 1, 7 cyd-testiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd,
Gen. 20, 5 neu yn escusodi)
Preg. 12
14 16 Yn y dydd pan farno Duw ddirgeloedd dynion
trwy Iesu Grist, yn ol fy Efengyl mau fi.
17 Wele, Iddew i'th elwir di, ac yr wyt yn gorphy-
wys yn y ddeddf, ac yn ymlawenhau yn-Nuw.
18 Ac yn gwybod ei ewyllys ef, ac yn darbod pethau
rhagorol, o herwydd dy addyscu gan y ddeddf.
e Mat. 15 19 e Ac yr wyt yn coelio dy fod yn dywysog i'r deill-
14 ion, yn llewyrch i'r rhai ydynt mewn tywyllwch,
a 23, 16
f 2 Tim. 3 20 f Yn athro i'r amhwyllogion, yn ddyscawdwr i'r
5 rhai aunyscedig, a chennit ffurf gwybodaeth, a gwir-
1 Tim. 1, 7 ionedd yn y ddeddf.
g 1 Cor. 9 21 g Tydi gan hynny yr hwn wyt yn addyscu arall
27 oni'th ddysci dy hun? ti yr hwn wyt yn dywedyd,
Mat. 23, 3 Na ledratter, a ledretti di?
22 Yr hwn wyt yn dywedyd, Na odineber, a odi-
nebi di? ti yr hwn sydd gas gennit ddelwau, a gys-
segr-yspeili di?
h Luc 18 23 h Ti yr hwn wyt yn ymhoffi yn y ddeddf, trwy
11 dorri'r ddeddf a ddianrhydeddi di Dduw?
Mat. 19
20 24 Canys enw Duw ym mhlith y cenhedloedd a geb-
RHIF. XXI.

lir o'ch plegit chwi, megis y mae yn scrifennedic.
25 i Canys enwaediad yn wir a wna lês os cedwi y i Gal. 5, 3
ddeddf: eithr os trosseddwr y ddeddf fyddi, aeth dy 6
enwaediad yn ddienwaediad. a 3, 10
26 j Am hynny os y dienwaediad a geidw gyfreithiau j Pen. 4,
y ddeddf, oni chyfrifir ei ddienwaediad ef yn enwaed- 11
iad? Col. 2, 17
27 k Ac oni bydd i'r dienwaediad, yr un sydd wrth na- k Pen. 3, 9
turiaeth (os ceidw y ddeddf) dy farnu di yr hwn wrth Mat. 12, 41
y llythyren, a'r enwaediad, wyt yn drorseddwr y
ddeddf?
28 l Canys nid yw efe yn Iddew, yr hwn sydd yn l Dat. 2, 9
[unic] yn yr amlwg: ac nid enwaediad yw yr hyn Ioan 8, 38
sydd yn [unic] yn yr amlwg yn y cnawd: Gal. 3, 7
29 Eithr efe sydd Iddew yr hwn sydd [felly] yn y
dirgel, (ac enwaediad y galon [sydd] yn yr yspryd,
nid yn y llythyren) yr hwn [y mae] ei glod nid o
ddynion, ond o Dduw.

PEN. III.

1 *Wedi i Paul addef fod peth rhagorfraint i'r Iddewon, o*
*blegit rhydd a dianwadal addewid Duw.* 9 *Y mae efe yn*
*profi wrth yr scythurau fod yr Iddewon a'r cenhedloedd yn*
*bechaduriaid.* 21 *A bod eu cyfiawnhad hwy trwy ras, nid*
*trwy weithredoedd.* 31 *Ac er hynny na ddidymmwyd y*
*ddeddf a'r gyfraith.*

PA ragoriaeth gan hynny sydd i'r Iddew? neu pa
fudd sydd o'r enwaediad?
2 m Llawer ym mhob rhyw fodd: canys yn gyntaf m Pen. 9
ymddyriedwyd iddynt hwy am eiriau Duw. 4, 5
Sal. 147, 19
20
3 O blegit beth os anghredodd rhai, a wna eu ang-
hrediniaeth hwy ffydd Dduw yn ddirym?
4 n Na atto Duw, eithr bydded Duw yn gywir, a n Sal. 115
phob dyn yn gelwyddoc: megis yr scrifennwyd, fel 1
i'th gyfiawnhauer yn dy eiriau, ac y gorfyddech pan a 116, 11
i'th farner. Sal. 51, 4
5 o Eithr os ein anwiredd ni chenmyl wirionedd o Pen. 5, 8
Duw, pa beth a ddywedwn? a ydyw Duw yn ang- Sal. 6, 1, 2
hyfiawn yr hwn sydd yn dwyn digofaint? (dywedyd
yr ydwyf fel dyn)
6 Na atto Duw: pe amgen, pa fodd y barna Duw y
byd?
7 p Canys os bu gwirionedd Duw helaethach trwy p Ioan 8
fyng-helwydd i i'w ogoniant ef, pa ham mwyach i'm 19
bernir inne fel pechadur?
8 q Ac nid (megis ein ceblir, ac megis y dywed rhai p Pen. 6
ein bod yn dywedyd) gwnawn ddrwg, fel y del da o 12
honaw, y rhai sy gyfiawn eu barnedigaeth. Iob 13, 7
9 Beth am hynny? a ydym ni fwy rhagorol? nac
[ydym] ddim: canys profasom eusus fod pawb, yr
Iddewon a'r Groeg-wyr tann bechod.
10 r Megis y mae yn scrifenedig, Nid oes yn gyfiawn r Sal. 14, 2
gymmaint ag un. a 53, 1
11 Nid oes neb yn deall, nid oes neb yn ymgais â
Duw.
12 s Gwyrasant oll, hwy a aethant oll yn anfuddiol, s Preg. 9
nid oes neb yn gwneuthur daioni, nac oes neb. 29
13 Bedd agored yw eu gwddf: twyllasant â'u tafod- 1 Pedr 2
au, gwenwyn lindis sydd tann eu gwefusau hwynt. 15
14 t Y rhai y mae eu genau yn llawn melltith a chwer- t Dat. 13, 6
wedd. Sal. 10, 6
15 Buan yw eu traed i ollwng gwaed.

PEN. III, Adn. 5.] "Cannol cyfiawnder Duw." Sef, yn mawr-hygu cyfiawnder Crist. Pa ham (medd y pechadur rhyfygus) y'm cospir am bechu? Wele, oni'n cospir ni'n achubir. Heb. xii. 7. A phe demnid y pechadur, cyfiawn fyddai'r Barnwr; canys ni wnaeth Duw neb yn bechadur! Preg. vii. 29. Iago 1, 13.

16 Destruw, ac aflwydd sydd ar ei ffyrdd.
17 Ac nid adnabuant ffordd tangneddyf.
18 Nid oes ofn Duw ger bron eu llygaid.
19 u Gwyddom hefyd mai pa bethau bynnac a ddy-
u Sal. 119 7, 19 wed y ddeddf, mai wrth y rhai sy tann y ddeddf y dy-
wed hi: fel y caeër pob genau, ac fel y byddo yr holl
fyd tann [farn] Duw.
v 1Cor. 1 20 Am hynny gan weithredoedd y cnawd ni chyf-
29 iawnheuir un cnawd yn ei olwg ef, o blegit gan y
ddeddf y [mae] adnabod pechod.
w Phil. 3 21 w Ac yr awr hon yr eglurwyd cyfiawnder Duw
9 heb y ddeddf, gan gael testiolaeth gan y ddeddf a'r
Ioan 5, 39 prophwydi.
22 Sef cyfiawnder Duw trwy ffydd Iesu Grist i
bawb, ac ar bawb a gredant: canys nid oes gwahan-
iaeth.
x Eph. 4 23 x O blegit pawb a bechasant, ac a ydynt yn ol am
23 1Cor. 3 18 ogoniant Duw.
y Eph. 2, 5 24 y A hwy a gyfiawnheuir yn rhad trwy ei ras ef,
z Heb. 9, 5 trwy 'r prynnedigaeth sydd yng-Hrist Iesu.
1 Ioan 2, 2 25 z Yr hwn a osodes Duw yn Iawn trwy ffydd yn ei
waed ef, i ddangos ei gyfiawnder ef trwy faddeuant y
pechodau a oeddynt gynt,
a 2Tim. 1 26 a Trwy ddioddefiad Duw i ddangos y pryd hynny
9 1 Pedr 1 ei gyfiawnder, fel y bydde efe yn gyfiawn, ac yn cyf-
20, 22 Eph. 1, 9 iawnhau y neb sydd o ffydd Iesu.
b 1Cor. 1 27 b Pa le gan hynny [y mae] yr gorfoledd? ef a gae-
31 Gal. 5, 3 wyd allan. Trwy pa ddeddf? ai [deddf] y gweithred-
oedd? na-ge, eithr trwy ddeddf ffydd.
28 Yr ydym ni yn meddwl gan hyn, fod yn cyfiawn-
hau dyn trwy ffydd heb weithredoedd y ddeddf.
c Eph. 2 29 c Ai i'r Iddewon y mae Duw yn unic, onid i'r cen-
16 Act. 15, 8 hedloedd hefyd? yn wir [y mae] efe i'r cenhedloedd
hefyd.
30 Canys un Duw ydyw yr hwn a gyfiawnha yr en-
waediad o'r ffydd, a dienwaediad trwy ffydd.
d Pen. 8, 1 31 d Am hynny a ydym ni yn gwneuthur y ddeddf yn
2 Col. 2, 17 ddirym trwy'r ffydd? na atto Duw: yr ydym yn
hytrach yn cadarnhau y ddeddf.

## PEN. IV.

1. 7. *Y mae efe yn dangos fod cyfiawnhad yn ddawn gras trwy siampl Abraham, a thestiolaeth Dafydd,* 15 *A hefyd wrth naturiaeth y ddeddf a ffydd.*

PA beth gan hynny a ddywedwn gael o Abraham
ein tad yn ol y cnawd?
2 e Canys os Abraham a gyfiawnhauwyd trwy weith-
e Pen. 3 28 redoedd, y mae iddo orfoledd, eithr nid ger bron
1 Cor. 4, 7 Duw.
f Gen. 15 6 3 f Canys pa beth a ddywed yr Scrythur, Credodd
Gal. 3, 6 Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder.
4 Ac i'r neb a weithia ni chyfrifir y gwobr o ras, onid
o ddyled.
g Phil. 2 5 g Eithr i'r neb ni weithia, onid credu yn yr hwn
8, 9 Mat. 16 syddyn cyfiawnhau yr anwir, ei ffydd ef a gyfrifir yn
24 gyfiawnder.
h Sal. 32, 1 6 h Megis y mae Dafydd yn datcan dedwyddwch y
dyn, yr hwn y mae Duw yn cyfrif iddo gyfiawnder,
Pen. 3, 24 heb weithredoedd [gan ddywedyd]
7 Dedwydd [yw] y rhai, y maddeuwyd eu hanwir-
eddau, a'r rhai y cuddiwyd eu pechodau.
8 Dedwydd [yw] y gwr nid yw yr Arglwydd yn cyf-
rif pechod iddo.
i Gen. 15 9 i [A ddaeth] y dedwyddwch hyn ar yr enwaediad
16 Gal 6, 16 hefyd? canys yr ydym yn dywedyd, [ddarfod] cyfrif
ffydd i Abraham yn gyfiawnder.

10 j Pa fodd y cyfrifwyd hi? ai pan oedd yn yr en- j Gen. 15
waediad, ynte yn y dienwaediad? nid yn yr enwaed- 2 a 16, 3
iad, onid yn y dienwaediad. a 17, 1. 25
11 k Ac efe a gymmerth arwydd yr enwaediad yn k Gen 17 11
insel cyfiawnder y ffydd, yr hon [oedd ganddo] yn y Dat. 7, 2
dienwaediad, fel y bydde efe yn dad pawb a gredant 2Tim. 2, 9
yn y dienwaediad, fel y cyfrifid yn gyfiawnder iddynt
hwy hefyd,
12 Ac yn dad yr enwaediad, nid iddynt hwy yn unic,
y rhai [ydynt] o'r enwaediad, ond i'r sawl hefyd a
gerddant lwybrau ffydd ein tad Abraham yr hon oedd
yn y dienwaediad.
13 l Canys nid trwy y gyfraith [y daeth] yr addewid l Gen. 3, 15
i Abraham, neu i'w had y bydde efe yn etifedd y byd, Pen 11, 9
eithr trwy gyfiawnder ffydd. 10
14 Canys os y rhai sydd o'r ddeddf, yw'r etifeddion,
gwnaed ffydd yn ofer, a'r addewid yn ddirym.
15 O blegit y mae y ddeddf yn peri digofaint, canys
lle nid oes deddf, nid oes gamwedd.
16 m Am hynny o ffydd [y mae yr etifeddiaeth] fel y m Ioan 1 12
dèl trwy ras, a bod yr addewid yn sicr i'r holl hâd: Eph. 2, 8
sef nid yn unic i'r hwn sydd o'r ddeddf: onid hefyd Gal. 3, 16
i'r hwn sydd o ffydd Abraham yr hwn yw ein tad ni
oll,
17 n (Megis y mae yn scrifenedic, Mi a'th wnaethum n Gen. 17
yn dâd llawer o genhedloedd) ger bron y neb y cred- 5 Eph. 2, 12
odd efe iddo [sef] Duw yr hwn sydd yn bywhau y 2Cor 4, 6
meirw, ac sydd yn galw y pethau nid ydynt, fel pe Ioan 5 25
byddent.
18 o Yr hwn yn erbyn gobaith, a gredodd tann obaith, o Heb. 11 17
fel y bydde yn dad cenhedloedd lawer, yn ol yr hyn Tit. 1, 2
a ddywedasid, Felly y bydd dy hâd di.
19 p Ac efe yn ddiegwan o ffydd nid ystyriodd ei p Deut 31 36
gorph ei hunan yr hwn oedd weithian wedi marweidd-
io, ac yng-hylch can-mlwydd oed, na marweidd-dra
bru Sara.
20 Ac nid amheuodd efe addewid Duw drwy ang-
hrediniaeth, eithr efe a nerthwyd yn y ffydd, gan ro-
ddi gogoniant i Dduw.
21 q Ac yn gwbl sicr ganddo, ei fod yn abl i wneu- q Pen. 14 5
thur yr hyn a addawse. 1 Tim. 1 12
22 Ac am hynny y cyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. Mat 8. 2
23 r Ac nid scrifenwyd hynny er ei fwyn ef yn unic, r Pen. 15 4
i gyfrif hyn iddo yn gyfiawnder, Ioan 5, 39
24 Eithr hefyd erom ninnau, i'r rhai y cyfrifir [yn
gyfiawnder,] y rhai ydym yn credu yn yr hwn a gyf-
odes Iesu ein Harglwydd o feirw.
25 Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac
a gyfodwyd er ein cyfiawnhad.

## PEN. V.

1 *Mae yn mynegu ffrwyth ffydd.* 7 *Y mae efe yn yspysu cariad, ac ufydd-dod Crist, yr hwn yw sail a sylfaen ffydd.*

AM s hynny gan ein cyfiawnhau trwy ffydd y mae s Pen. 3 24
gennym heddwch tu ag at Dduw trwy ein Har- Ioan 16 33
glwydd Iesu Grist.
2 Trwy'r hwn hefyd y mae i ni ddyfodfa trwy ffydd
i'r gras hyn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ac yn ym-
lawenychu tann obaith gogoniant Duw.
3 t Ac nid [hynny] yn unic, eithr hefyd yr ydym yn t Pen. 8 34
ymlawenychu mewn gorthrymderau gan wybod fod Mat. 5, 12
gorthrymder yn peri dioddefgarwch,
4 A dioddefgarwch brofiad, a phrofiad obaith:
5 u A gobaith ni chywilyddia, am fod cariad Duw u Esa. 28 16
wedi ei dywallt yn ein calonnau, trwy yr Yspryd Glân
yr hwn a roddwyd i ni.

v Eph.2,1 Ezec.16 6 [v] Canys Crist pan oeddem ni yn ddinerth, yn yr
5 amser a fu farw tros rai annuwiol.
w 1 Pedr 7 [w] Diau mai braidd y bydd neb farw tros un cyf-
3,18 x 1 Ioan 3 iawn, er hynny tros [un] da fe alle y bydde un farw.
1 8 [x] Eithr y mae Duw yn eglurhau ei gariad, tu ag
Ioan.3,16 attom, (o blegit a nyni etto yn bechaduriaid) marw o
Grist trosom.
y Dat 1,5 9 [y] Mwy ynte o lawer gan ein cyfiawnhau ni trwy ei
1 Pedr 1 waed ef, i'n hachubir rhag digofaint trwyddo ef.
19 10 Canys os pan oeddem elynion, i'n heddychwyd â
Duw trwy farwolaeth ei Fab ef, mwy o lawer wedi ein
heddychu, i'n achubir trwy ei fywyd ef.
z Pen. 4 11 [z] Ac nid [hynny] yn unic, eithr ymlawenychu yr
25 ydym hefyd yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist,
gan yr hwn yr awr hon y derbyniasom y cymmod.
a 1 Cor. 15 12 [a] Am hynny megis trwy un dyn y daeth pechod
21 i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, ac felly yr aeth
Eph.5, 21 marwolaeth ar bob dyn, yn gymmaint a phechu o
bawb.
13 Canys hyd amser y ddeddf yr oedd pechod yn y
byd: eithr ni chyfrifir pechod, pryd nad oes deddf.
14 Eithr teyrnasodd marwolaeth o Adda hyd Mo-
ses, arnynt hwy hefyd y rhai ni phechasant yn ol cy-
ffelybiaeth camwedd Adda, yr hwn yw ffurf yr un a
ddeue.
b Pen. 3 15 [b] Eithr nid yw 'r dawn felly megis y mae 'r cam-
23 Ioan 3,16 wedd: o blegit os trwy gamwedd un y bu feirw llawer,
Ioan 1,12 mwy o lawer yr amlhauodd gras Duw, a'r dawn trwy
Mat. 1,21 ras yr un dyn Iesu Grist i laweroedd.
c 1 Tim. 5 16 [c] Ac nid yw 'r dawn [fel yr hyn a ddaeth] trwy 'r
12 un a bechodd: canys y farn a [ddaeth] o'r un [cam-
1 Cor. 1 wedd] i gondemniad: eithr y dawn sydd o gamwedd-
30 au lawer i gyfiawnhad.
d Eph. 1 17 [d] Canys os trwy gamwedd un y teyrnasodd angeu
17 trwy un, mwy o lawer y teyrnasa y rhai a dderbynias-
Gal. 2, 19 ant y lliosogrwydd o ras, ac o ddawn y cyfiawnder,
ym mywyd, trwy yr un, Iesu Grist.
e Pen. 3 18 [e] Canys yr un modd megis trwy gamwedd un [y
19 daeth y bai] ar bob dyn i gondemniad, felly trwy gyf-
Phil.3, 9 iawnhad un, [y rhodded gras] i bob dyn, er cyfiawn-
Ioan 1,12 had bywyd.
19 O blegit megis trwy anufydd-dod un dyn, y
gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid: felly trwy uf-
ydd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn.
f Gal 3,18 20 [f] Eithr y ddeddf a ddaeth i mewn, fel yr amlhaue
Pen. 7, 5 y camwedd: eithr lle yr amlhauwyd pechod [yno] yr
amlhaodd gras yn fwy o lawer.
g Ioan 11 21 [g] Fel megis y teyrnassodd pechod i angeu, felly
25 hefyd y teyrnase gras trwy gyfiawnder i fywyd tragy-
wyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

PEN. VI.

1 *Er mwyn na bydde i neb orfoleddu yn y cnawd, eithr yn
hytrach ei ddarostwng ef i'r yspryd.* 3 *Y mae efe yn
dangos wrth rinwedd a diwedd bedydd,* 5 *Fod ad-ened-
igaeth yn gyssylltiedig â chyfiawnder, ac am hynny y mae
yn annog i fuchedd dduwiol,* 21 *Gan osod yng-wydd dyn
obr pechod a chyfiawnder.*

Pen 5 BETH [h] wrth hynny a ddywedwn? a drigwn ni yn
20 Pen 7, 14 wastad mewn pechod, fel yr amlhauo gras?
i Gal.2, 11 2 [i] Na atto Duw: y rhai [ydym yn] feirw i bechod,
pa wedd y byddwn fyw etto ynddo ef?
3 Oni wyddoch am danom [ni] oll y rhai fedydd-
iwyd i Iesu Grist, ddarfod ein bedyddio i'w farwol-
aeth ef?
Pen.12,2 4 [j] Claddwyd ni gan hynny gyd ag ef trwy fedydd i
n. 5, 6

farwolaeth: fel megis y cyfodwyd Crist o feirw trwy
ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn
newydd-deb buchedd.
5 [k] Canys os gwnaed ni yn gyd blanhigion i gyffel- k Phil3,21
ybiaeth ei farwolaeth ef, felly y byddwn [i gyffelyb-
iaeth ei] adgyfodiad [ef,]
6 Gan wybod hyn ddarfod croes-hoelio ein hen
ddyn ni gyd ag ef, er mwyn dirymmu corph pechod,
fel rhag llaw na wasanaethom bechod.
7 [l] Canys y mae yr hwn fu farw yn rhydd oddi wrth l Ioan 8
bechod. 36
8 Am hynny os ydym ni yn feirw gyd â Christ, yr Pen.8,33
ydym ni yn credu y byddwn fyw hefyd gyd ag ef.
9 Gan wybod na bydd Crist yr hwn a gyfodwyd,
farw mwyach: ac nad arglwyddiaetha marwolaeth
arno mwyach.
10 [m] Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw un-waith m Pen. 5
i bechod, ac fel [y mae yn] fyw, byw y mae i Dduw. 6, 8 Heb. 10
11 Felly meddyliwch chwithau hefyd, eich meirw 12
chwi i bechod, a'ch bod yn fyw i Dduw yng-Hrist
Iesu ein Harglwydd.
12 Na theyrnased gan hynny bechod yn eich corph
marwol, fel yr ufuddhaoch iddo yn ei chwantau.
13 [n] Ac na roddwch eich aelodau yn arfau anghyf- n Act. 5
iawnder i bechod, eithr rhoddwch eich hunain i Dduw, 39
megis rhai o feirw yn fyw, a [rhoddwch] eich aelodau
yn arfau cyfiawnder i Dduw.
14 [o] Canys nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi, o Gal.3,13
oblegit nid ydych tann y ddeddf eithr tann ras.
15 [p] Beth am hynny? a bechwn ni o herwydd nad p 1 Cor. 7
ydym ni tann y ddeddf eithr tan ras? na atto Duw. 1
16 [q] Oni wyddoch, mai i bwy bynnac y rhoddwch q Ioan 8
eich hunain yn weision i ufyddhau, eich bod yn weis- 34
ion i'r hwn yr ufyddhaoch iddo, pwy bynnac ai [yn
weision] pechod i farwolaeth, ynte ufydd-dod i gyf-
iawnder?
17 [r] Ond i Dduw bo 'r diolch, gan eich bod [chwi r 1 Cor. 6
gynt] yn weision pechod, etto ufyddhau o honoch o'ch 11
calonnau i'r ffurf honno o athrawiaeth i'r hon i'ch
traddodwyd.
18 [s] A chan eich rhyddhau [chwi] oddi wrth bechod, s Ioan. 8
chwi a wnaethpwyd yn weision cyfiawnder. 36
19 [t] Yn ol dull dynol yr ydwyf yn dywedyd o blegit t Ioan 5
gwendid eich cnawd chwi: canys megis ac y rhodd- 12 1 Cor. 9
asoch eich aelodau yn weision i aflendid ac anwiredd, 22
i [wneuthur] anwiredd, felly yr awr hon rhoddwch
eich aelodau yn weision i gyfiawnder, i sancteidd-
rwydd.
20 [u] Canys pan oeddych yn weision pechod, yr u Eph. 2
oeddech yn rhyddion oddi wrth gyfiawnder. 1, 2
21 [v] Pa ffrwyth oedd i chwi y pryd hynny yn y cyf- v Luc 15
ryw bethau y mae arnoch gywilydd o'u plegit yr awr 15 1 Cor. 6
hon? canys diwedd y pethau hynny yw marwolaeth. 11
22 [w] Ac yr awr hon wedi eich rhyddhau oddi wrth w 1 Thes
bechod, a'ch gwneuthur yn weision i Dduw, y mae i 4, 3
chwi eich ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn
fywyd tragywyddol.
23 [x] Canys cyflog pechod yw marwolaeth: eithr x Luc. 16
dawn Duw yw bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist 25
ein Harglwydd.

PEN. VII.

1 *Ffrwyth y ddeddf,* 6 *A'r modd y gwaredodd Crist ni
rhagddi.* 16 *Gwendid y ffyddlonion,* 23 *A'r ymladd per-
yglus rhwng y cnawd a'r yspryd.*

y Pen. 6 ONI y wyddoch chwi frodyr (wrth y rhai sydd yn
14 Eph 5.33 gwybod y ddeddf yr wyf yn dywedyd) yr arglwy-
ddiaetha y ddeddf ar ddyn tra fyddo efe byw?
z 1Cor. 7 2 z Canys y wraig yr hon sydd tan lywodraeth gwr
39 Mat.9, 18 sydd yn rhwym wrth o ddeddf i'r gwr tra fyddo efe
byw: ond o bydd marw y gwr, hi a ryddhawydd oddi
wrth ddeddf y gwr.
a 1Cor. 7 3 a Ac felly os a'r gwr yn fyw y bydd hi yn eiddo
10 gwr arall, hi a elwir yn odinebus: eithr os marw fydd
y gwr, y mae hi yn rhydd oddi wrth y ddeddf, fel
nad yw hi yn odinebus, er bod yn eiddo gwr arall.
b Gal. 3 4 b Ac felly chwithau fy mrodyr ydych wedi meirw
14 Ioan 15 i'r ddeddf trwy gorph Crist, fel y byddech eiddo un
8 Phil.1,11 arall, [sef] eiddo yr hwn a gyfodwyd o feirw, fel y
dygem ffrwyth i Dduw.
c Gal. 5 5 c Canys pan oeddem yn y cnawd, gwyniau pechodau
24 Pen.6,23 y rhai oeddynt trwy [nerth] y ddeddf oeddynt mewn
Iago 1.15 grym yn ein aelodau i ddwyn ffrwyth i farwolaeth.
d Pen.6,4 6 d Eithr yn awr y rhyddhawyd ni oddi wrth y
2Cor.3, 6 ddeddf wedi ein meirw i'r peth i'n attalit, fel y
7 gwasanaethem yn newydd-deb yspryd, ac nid yn
hender yllythyren.
7 Beth gan hynny a ddywedwn? ai pechod yw'r
ddeddf? ymbell oedd: eithr nid adnabum i bechod, ond
wrth y ddeddf: canys nid adnabaswn i drachwant,
oni ddywedase'r ddeddf, Na chwennych.
e Gen.6, 5 8 e Eithr fe a gymmerth pechod achlysur wrth y
gorchymyn, ac a weithiodd ynof bob trachwant.
f Luc 18 9 f Canys marw yw pechod heb y ddeddf, eithr myfi
11, 12 Mat. 19 a fum gynt yn fyw heb y ddeddf: ond pan ddaeth y
20 gorchymyn yr adfywiodd pechod, a minne a fum farw.
10 A'r Gorchymyn hwn a [arlwyasit] i fywyd, a gaf-
wyd i mi yn farwolaeth.
g Heb. 9 11 g Canys pechod a gymmerth achlysur trwy 'r
13 gorchymyn, ac a'm twyllodd, ac wrth hynny a'm lladd-
odd i.
12 Ac felly sanctaidd yw 'r ddeddf, a sanctaidd yw 'r
gorchymyn, a chyfiawn, a da.
13 Gan hynny a wnaethpwyd y peth oedd dda yn
farwolaeth i mi? na atto Duw: eithr pechod fel yr
ymddangose yn bechod, a weithiodd farwolaeth ynof
trwy 'r hyn sydd yn dda, fel y bydde pechod yn dra
phechadurus trwy 'r gorchymyn.
h Mat. 22 14 h Canys gwyddom fod y ddeddf yn ysprydol, a
37 1Cor.3 1 minnef yn gnawdol wedi fyng-werthu tann bechod.
Gal.5, 17 15 Canys yr hyn yr wyf yn ei wneuthur nid yw
foddlon gennif: canys nid yr hyn yr wyf yn ei ewyll-
ysio yr wyf yn ei wneuthur: eithr yr hyn sydd gas
gennif, hyn yr ydwyf yn ei wneuthur.
i Sal.119,5 16 i Ac od wyf yn gwneuthur yr hyn nid wyf yn ei
ewyllysio, yr ydwyf yn cydsynnio â'r ddeddf ei bod hi
yn dda.
17 Felly yr awron nid myfi sydd mwy yn gwneuthur
hynny, eithr y pechod yr hwn sydd yn trigo ynofi.
j Phil. 2 18 j Canys gwn nad oes ynofi, [sef] yn fyng-hnawd i
13 Phil.3.12 ddaioni yn trigo: o blegit yr ewyllysio sydd yn barod
gennif, eithr nid wyf yn medru gwneuthwr yr hyn
sydd dda.
19 Canys nid wyf yn gwneuthur y peth da yr hwn
yr wyf yn ei ewyllysio, onid y drwg yr hwn nid wyf
yn ewyllysio: hynny yr wyf yn ei wneuthur.
20 Felly os yr hyn nid wyf yn ei ewyllysio hynny yr
wyf yn ei wneuthur: nid myfi sydd yn ei wneuthur,
ond y pechod yr hwn sydd yn trigo ynofi.
21 Felly yr wyf yn cael y ddeddf, i mi yr hwn wyf
yn ewyllysio gwneuthur da, mai drwg sydd breswnnol
gyd â mi.
22 k Canys digrif gennif gyfraith Dduw, o herwydd y k Eph. 3
dyn oddi mewn: 16 1 Pedr 3
23 Eithr yr wyf yn gweled deddf arall yn fy aelodau 11
yn gwrthwynebu deddf fy meddwl, ac i'm caethiwo i
ddeddf pechod, yr hon sydd yn fy aelodau.
24 l Ys truan o ddyn wyfi: pwy am gwared oddi l Preg.7
wrth gorph y farwolaeth hon? 29
25 m Yr wyf yn diolch i Dduw trwy Iesu Grist ein m Phil. 3
Harglwydd: canys felly yr wyfi yn fy meddwl yn 21 1 Cor. 15
gwasanaethu deddf cyfraith Dduw, ond yn fyng- 55
nhawd cyfraith pechod.

## PEN. VIII.

*1 Diogelwch y ffyddloniaid, a ffrwyth yr Yspryd Glan yn-
ddynt hwy. 3 Gwendit y ddeddf, a phwy a'i cwplaodd
hi, ac i ba beth. 5 O ba ryw wedd y dyle y ffyddloniaid
fod. 6 Ffrwyth yr Yspryd ynddynt hwy. 17 Am obaith.
18 Am ddioddefgarwch tan y groes, sef tan adfyd er
mwyn Crist. 28. Am y cyd-gariad rhwng Duw a'i blant.
29 Am ei ragwybodaeth a'i ragluniaeth ef.*

GAN n hynny nid oes weithian ddamnedigaeth i'r n Eph. 3
rhai sy yng-Hrist Iesu, [sef] y sawl nid ydynt yn 17 Ioan 15,1
rhodio yn ôl y cnawd, eithr ar ôl yr Yspryd.
2 Canys deddf yspryd y bywyt yng-Hrist Iesu a'm
rhyddhaodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth.
3 o Canys (yr hyn a ydoedd yn ambossibl i'r ddeddf o Heb. 10
pan ydoedd hi yn egwan o blegit y cnawd) Duw gan 4 a 7, 18
ddanfon ei Fab ei hun yng-hyffelybiaeth cnawd pech- 1 Pedr 2
adurus, a [hynny] am bechod, a gondemnnodd bechod 24
yn y cnawd,
4 Fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni, y
rhai ydym yn rhodio nid yn ol y cnawd: eithr yn ol
yr Yspryd.
5 p Canys y rhai ydynt gnawdol, am bethau 'r cnawd p Gal. 5
yr ymsynhwyrant: eithr y rhai sy yn ol yr Yspryd, 19 1Cor.2.14
am bethau 'r Yspryd.
6 Canys y mae synnwyr y cnawd yn farwolaeth, a
synnwyr yr Yspryd yn fywyd a thangneddyf.
7 O blegit synnwyr y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn
Duw: am nad yw ddarostyngedic i ddeddf Duw: ac
ni's dichon [fod.]
8 q Am hynny y sawl ydynt yn y cnawd ni allant q Heb. 11
ryngu bodd Duw. 6
9 r Weithian chwy-chwi nid ydych yn y cnawd, r Ioan 10
eithr yn yr Yspryd, gan fod Yspryd Duw yn trigo yn- 11 Dat. 22
och: ac od oes neb heb Yspryd Crist ganddo, nid yw 15
hwnnw yn eiddo ef.
10 s Ac os yw Crist ynoch, y mae'r corph wedi marw, s Eph. 3
o blegit pechod: eithr yr Yspryd yn fywyd, er mwyn 17 1Cor.6,19
cyfiawnder.
11 t Ac os Yspryd yr hwn a gyfododd Iesu o feirw t Ioan 5
sydd yn trigo ynoch, yr hwn a gyfododd Crist o feirw, 25
a fywoca hefyd eich cyrph marwol chwi, trwy ei Ys-
pryd yr hwn sydd yn trigo ynoch.
12 Am hynny frodyr yr ydym [ni] yn ddyled-wyr,
nid i'r cnawd, i fyw yn ol y cnawd:
13 u Canys os byw fyddwch yn ol y cnawd, meirw u Gal.6. 8
fyddwch: eithr os marwhewch weithredoedd y cnawd 1 Thes. 4
trwy yr Yspryd, byw fyddwch. 6
14 Canys cynnifer [ac] a dywyser gan Yspryd Duw,
y rhai hyn sy blant i Dduw.
15 v Canys ni dderbyniasoch yspryt caethiwet i [beri] v Gal. 4,6
ofn trachefn, eithr derbyniasoch Yspryd mabwysiad
trwy 'r hwn yr ydym yn llefain (Abba) Dad.

w Ioan 3 16 w Y mae yr Yspryd hwn yn cyd-destiolaethu a'n
21 2 Cor. 1 hyspryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw.
22 17 x Os ydym ni yn blant [yr ydym] ni hefyd yn etif-
x Dat. 3 eddion, os yn etifeddion i Dduw, yna yn gyd-etifedd-
21 ion â Christ: ac os cyd-ddioddefwn ag ef, fe a'n cyd-
ogoneddir hefyd gyd ag ef.
18 O blegit yr ydwyf yn bwrw nad yw gofidiau yr
amser yr awron yn cydstadlu y gogoniant a ddangosir
i ni.
y Act.3,21 19 y Canys awyddfryd y creadur sydd yn disgwyl am
Luc 19,12 ddatcuddiad meibion Duw.
20 Canys mae y creadur yn ddarostyngedic i wagedd
nid o'i fodd, eithr o blegit yr hwn a'i darostyngodd,
z Esa.65 21 z Tan obaith y rhyddheir y creadur hefyd o gaeth-
17 Act.3,21 iwed llygredigaeth i rydd-did gogoniant meibion
Duw.
a Dat 6, 22 a Canys gwyddom fod pob creadur yn cyd-ochen-
10 eidio â ni, ac yn cyd-ofidio hyd y pryd hyn.
Pen, 11 23 b Ac nid yn unic y [creatur] ond ninnau hefyd y
16 2Cor.5,2 sawl a gawsom flaen-ffrwyth yr Yspryd, yr ydym
ninnau yn ocheneidio ynom ein hunain gan ddisgwyl
y mabwysiad, [nid amgen] prynnedigaeth ein corph.
24 Canys wrth obaith i'n iachauwyd: eithr yr hon a
welir nid yw obaith: o blegit pa obeithio a wna un
am y peth a wêl?
c Tit.2,13 25 c Ond os ydym yn gobeithio yr hyn ni welwn, yr
Iago.5,7 ydym drwy ammynedd yn disgwil am dano.
26 Felly hefyd y mae'r Yspryd yn cynnorthwyo ein
gwendid ni: canys ni wyddom pa beth a weddiwn fel
y dylem, eithr y mae yr Yspryd ei hun yn eiriol tros-
om âg ocheneidiau annhraethadwy.
d Dat. 2 27 d A'r hwn sydd yn chwilio y calonnau, a ŵyr beth
23 1Ioa 5,14 yw meddwl yr Yspryd, canys y mae efe yn ol [ewyll-
ys] Duw yn eiriol dros y sainct.
e Eph.1,5 28 e A gwyddom fod pob peth yn gweithio i'r hyn
9 goref i'r sawl a garant Dduw, sef i'r rhai a alwyd wrth
ei arfaeth ef.
f 2Tim. 2 29 f Canys y rhai a ragwybu, a ragluniodd efe hefyd
19 Eph 1, 5 i fod yn un ffurf â delw ei Fab ef, fel y bydde efe yn
gyntafanedig ym mhlith brodyr lawer.
g 1Ioan 3 30 g A'r rhai a ragluniodd efe, y rhai hynny a alw-
1, 2 odd efe, a'r rhai a alwodd, y rhai hynny hefyd a gyf-
2Cor.3,18 iawnhaodd efe, a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai
hynny hefyd a ogoneddodd efe.
h Zec.2,5 31 h Beth ynte a ddywedwn ni wrth y pethau hyn?
Mat 16,18 os [yw] Duw gyd â ni, pwy a all fod i'n herbyn?
i Ioan 10 32 i Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond ei roddi
27 1 Cor, 8 ef drosom ni oll i farwolaeth, pa wedd gyd ag ef na
22 rydd efe i ni bob peth hefyd?
Mat 6,33 33 j Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw,
j Ioan 5 Duw yw 'r hwn a gyfiawnha.
45 k Dat. 2 34 k Pwy a ddamna? Crist yw 'r hwn a fu farw, ie
10 Ioan 17 yn hytrach, yr [un] agyfodwyd trachefn, yr hwn he-
20 fyd sydd ar ddeheu-law Duw, yr hwn hefyd sydd yn
Heb.7,25 eiriol trosom ni.
l Ioan 3 35 l Pwy a'n gwahana ni oddi wrth gariad Crist? a'i
16 gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu
noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf?
m Sal. 44 36 m Megis y mae yn scrifenedic, Er dy fwyn di yr
22 ydys yn ein lladd ni trwy'r dydd: yr ydys yn ein
cymmeryd ni fel defaid [iw] lladdfa.
n Dat 12 37 n Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy
11 na chongcwerwyr trwy'r hwn a'n carodd ni.
o 2Tim 1 38 o Canys y mae yn ddiogel gennif nad oes nac ang-
12 eu, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na
meddiannau, na phethau presenol, na phethau i ddy-
fod,
39 p Nac uchter, na dyfnder, nac un creatur arall a p Mat 7
all ein yscar ni oddi wrth gariad Duw yr hwn sydd 24 Ioan 10
yng-Hrist Iesu ein Harglwydd. 27

## PEN. IX.

*Serch sanct Paul ar wŷr ei wlad. 11 Y modd y mae Duw yn dewis rhai, ac yn gwrthod eraill. 24 Galwedigaeth y Cenhedloedd. 30 A gwrthodiad yr Iddewon.*

GWIR q yr wyf yn ei ddywedyd yng-Hrist, nid wyf q 2 Cor 1 12
yn dywedyd celwydd (a'm cydwybod yn cydtes-
tiolaethu â mi yn yr Yspryd Glân)
2 r Fod tristid mawr a dolur dibaid yn fyng-halon. r Luc 19 41
3 Canys mi a ddymunwn fod yn anathema oddi wrth
Grist dros fy mrodyr, sef fyng-henedl yn ol y cnawd:
4 Y rhai ydynt yr Israeliaid, i ba rai [y perthyn] y
mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, a dodiad y
ddeddf, a gwasanaeth [Duw,] a'r addewidion.
5 O ba rai yr hanoedd y tadau, ac o ba rai o her-
wydd y cnawd [yr hanoedd] Crist yr hwn sydd yn
Dduw uwch law oll yn fendigedic yn oes oesoedd.
Amen. s Pen 2
6 s Er hynny ambossibl yw myned gair Duw yn ddi- 28
rym, canys nid [ydynt] hwy oll yn Israeliaid, a r a
[hanoedd] o Israel,
7 t Ac nid ydynt hwy oll yn blant, o blegit eu bod o t Gal 3,16
had Abraham: eithr yn Isaac y gelwir dy had di. a 4, 28
8 u Hynny yw, nid y rhai sy yn blant y cnawd ydynt u Ioan 8
blant Duw: eithr plant yr addewid a gyfrifir yn had. 37 Gal 4, 28
9 v Canys gair addewid yw hwn, Yn yr amser hwn y v Gen 18
deuaf, ac y bydd mab i Sara. 10
10 Ac nid efe yn unic a [wybu hyn] ond hefyd Re-
becca wedi iddi feichiogi o un [sef] o'n tad Isaac.
11 w Canys etto cyn geni'r [plant,] a phryd na wnae- w Pen 5
thent na drwg na da, (megis wrth etholedigaeth Duw 19 2 Tim 2
y parhae yr arfaeth nid o weithredoedd, eithr o'r hwn 19 2Tim 1,9
sydd yn galw)
12 x Y dywedwyd wrthi, Yr hynaf a wasanaeth yr x Gen 25
ieuangaf. 23
13 Megis yr scrifennwyd, Iacob a gerais, ac Esau a
gaseais.
14 y Beth a ddywedwn wrth hynny? a oes anghyf- y Mat 12
iawnder gan Dduw? ymbell oedd. 25 a 13,21
15 z Canys y mae yn dywedyd wrth Moses, Mi a dru- z Ecs 34
garhaf wrth yr hwn y trugarhauwyf, ac a dosturiaf 19
wrth yr hwn y tosturiaf.
16 a Ac felly nid yw ['r etholedigaeth ar law] yr hwn a Pen 11
a ewyllysio, nac ar law yr hwn a redo, eithr ar law 36
Duw yr hwn sydd yn trugarhau.
17 b Canys y mae yr scrythur yn dywedyd wrth Pha- b Ecs 9
rao, I hynn ymma i'th gyffroais di, fel y dangoswn fy 15
meddiant ynot ti, ac fel y datcenid fy enw trwy'r holl
ddaiar.
18 c Am hynny wrth yr hwn y mynno y trugarha efe, c Deut 32
a'r hwn a fynno, efe a'i caleda. 9 Ecs 9, 12
19 d Dywedi gan hynny wrthif, Pa ham y mae efe etto d Esa 1,2
yn beio? canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef? 3
20 Yn hytrach O ddyn pwy wyt ti yr hwn a ddadl-
eui yn erbyn Duw? a ddywed y peth ffurfiedig wrth yr
hwn a'i ffurfiodd, Pa ham i'm gwnaethost fel hyn.
21 e Onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y pridd- e 2Tim 2
gis, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, 20
ac arall i amharch?
22 f Beth os Duw yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, f Diar 16
a pheri adnabod ei feddiant, a ddioddef drwy hir-ym- 4

aros lestri'r digofaint y rhai a arlwywyd i golledig-
aeth?
g Pen 8 23 g Ac i beri gwybod golud ei ogoniant ar lestri
29 Eph 5,25 trugaredd, y rhai a arlwyodd efe i ogoniant?
24 [Sef] nyni y rhai a alwodd efe, nid o'r Iddewon
yn unic, eithr hefyd o'r cenhedloedd.
25 Megis hefyd y mae efe yn dywedyd yn Hosea, Mi
a alwaf yr hwn nid yw bobl i mi, yn bobl i mi: a'r hon
nid yw annwyl yn annwyl.
26 A bydd yn y lle y dywedwyd wrthynt, Nid yd-
ych bobl i mi, yno y gelwir hwy yn blant y Duw
byw.
h Esa 10 27 h Hefyd y mae Esaias yn llefain am yr Israel, cyd
22 bydde nifer plant Israel fel tywod y môr, gweddill a
achubir.
28 Canys efe a orphen ac a fyrha air mewn cyfiawn-
der: canys yr Arglwydd a fyrha air ar y ddaiar.
i Esa 1, 9 29 i A megis y dywedodd Esaias yn y blaen, Oni bu-
ase i Arglwydd y lluoedd adel i ni had, gwnaethid ni
fel Sodoma, a chyffelyb fuasem i Gomorra.
j Eph 2, 13 30 j Beth gan hynny a ddywedwn? cael o'r cenhedl-
Esa 65, 1 oedd gyfiawnder y rhai ni ddilynasant gyfiawnder, sef
y cyfiawnder [yr hwn sydd] o ffydd.
k Phil 3 6 31 k Ac Israel yr hwn a ddilynodd ddeddf cyfiawn-
der, ni chyrhaeddodd ddeddf cyfiawnder.
l Pen 3,28 32 l Pa ham? am nas ceisient â ffydd, eithr megis o
weithredoedd y ddeddf: canys tramgwyddasant wrth
faen y tramgwydd,
m Esa 8 33 m Megis y mae yn scrifennedic, Wele fi yn gosod
14 yn Sïon faen tramgwydd, a chraig rhwystr: a phob un
1 Pedr 2 7, 8 a gredo ynddo ni chywilyddir.

## PEN. X.

*Achos cwymp yr Iddewon. 5 Y rhagor rhwng y cyfiawnder sydd o ddeddf neu yr gyfraith a'r hon sydd o ffydd. 17 Bod ein ffydd ni yn dyfod o wrando gair Duw. 19 Dewisiad y Cenhedloedd a gwrthodiad yr Iddewon.*

OH frodyr y mae gwir ewyllys fyng-halon a'm gwe-
ddi ar Dduw dros yr Israeliaid am iechyywriaeth.
2 n Canys yr wyf yn dyst iddynt fod ganddynt zel
n Act 21 20 Dduw, eithr nid ar ol gwybodaeth.
o 1Tim 1 3 3 o Canys hwynt hwy heb wybod cyfiawnder Duw,
ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ym-
ostyngasant i gyfiawnder Duw.
p Gal 3, 4 p Canys Crist yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i
19 Heb 13.8 bob un a gredo.
q Lef 18 5 5 q Canys y mae Moses yn dosparthu y cyfiawnder
Mat 29 sydd o'r ddeddf, mai y dyn a wnel y pethau hyn a
16 fydd byw wrthynt.
r Deu 30 6 r Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dyw-
11 edyd fel hyn, Na ddywed yn dy galon, Pwy a escyn
i'r nef? hynny yw dwyn Crist oddi uchod:
7 Neu pwy a ddescyn i'r dyfnder? hynny yw, dwyn
Crist trachefn oddi wrth y meirw.
s Deut 30 8 s Eithr pa beth y mae yn ei ddywedyd? mae'r gair
14 Mat 13,19 yn agos attat, yn dy enau ac yn dy galon, hwn yw
gair y ffydd yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu,
t Mat 10 9 t Mai Os cyffessi â'th enau yr Arglwydd Iesu a
32 Eph 2. 8 chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, iach
Ioan 3,18 fyddi.
u Pen 3 10 u Canys â'r galon y credir i gyfiawnder, ac â'r
24 genau y cyffessir i iechydwriaeth.
11 O blegit y mae'r scrythyr yn dywedyd, Pwy byn-
nac a gredo ynddo ef ni chywilyddir ef.
v Eph 2 12 v Gan nad oes gwahaniaeth rhwng Iddew, Groeg-
13 wr, o blegit yr hwn sydd Arglwydd ar bawb, sydd

oludog i bawb a'r a alwant arno ef.
13 w Canys pwy bynnac a eilw ar enw yr Arglwydd w Joel 2 32
cadwedig fydd. Sal 66,18
14 x Eithr pa fodd y galwant ar yr hwn ni chredas- x Ioan 17 3
ant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlyw-
sant am dano? a pha fodd y clywant heb bregeth-wr?
15 y A pha fodd y pregethant, oddieithr eu danfon? y 2 Cor 5
megis y mae yn scrifennedic: Mor brydferth yw traed 12
y rhai sy yn efangelu tangneddyf, ac yn efangelu peth- Esa 52,7
au daionus:
16 z Eithr nid ufyddhausant hwy oll i'r Efengyl, z Esa 53
canys y mae Esaias yn dywedyd, O Arglwydd pwy a 1
gredodd i'r hyn a glywyd genym ni?
17 a Am hynny ffydd sydd o glywed, a chlywed a Pen 1
[sydd] gan air Duw. 16
18 Eithr meddaf, Oni chlywsant hwy? eu swn yn 1 Cor 1,21
ddiau a aeth tros yr holl ddaiar, a'u geiriau hyd der-
fynau y byd.
19 b Eithr meddaf, Oni adnabu Israel Dduw? yn b Deut
gyntaf y mae Moses yn dywedyd, Mi a baraf i chwi 32, 21
wynfydu wrth genedl nid yw genedl, ac â chwedl
angall i'ch digiaf.
20 c Ac Esaias sydd yn llyfaru, ac yn dywedyd, c Esa 65
Caffwyd fi gan y rhai nid oeddynt yn fyng-heisio, a 1
gwnaed fi yn eglur i'r rhai nid oeddynt yn ymofyn am
danaf.
21 d Ac wrth yr Israel y mae yn dywedyd, Yn hyd
y dydd yr estynnais fy nwylo at bobl anufydd, ac yn d Esa 5. 1 Ier 44,16
gwrth-ddywedyd.

## PEN. XI.

*Y mae yn dangos na lwyr wrthododd Duw yr Israeliaid. 29 Am fod donniau Duw yn ddianwadal. 33 A bod barnedigaeth Duw morr anchwiliadwy, ac morr ddirgel ag na ddichon neb ddyfod iddi hi.*

AM e hynny meddaf, a wrthododd Duw ei bobl? e Mat 8
na atto Duw: canys minne hefyd wyf Israeliad 12
o had Abraham, o lwyth Beniamin.
2 f Ni wrthododd Duw ei bobl y rhai a adnabu efe f Ioan 10
yn y blaen, oni wyddoch pa beth y mae yr scrythur 14
yn ei ddywedyd am Elias? pa fodd y mae efe yn eir-
iol ar Dduw yn erbyn yr Israel, gan ddywedyd?
3 g Oh Arglwydd, hwy a laddasant dy brophwydi, g 1 Bren
ac a gloddiasant i'r llawr dy allorau: ac myfi a ada- 19.4 2 Tim 2
wyd yn unic, ac y maent yn ceisio fy einioes inne. 19
4 i Eithr pa beth y mae atteb Duw yn ei ddywedyd i Mat 16
wrtho? Gadewais i mi fy hun saith mil o wŷr, y rhai 18
ni phlygasant eu gliniau i Baal.
5 Felly y pryd hyn y mae gweddill trwy 'r etholed-
igaeth o ras.
6 j Ac os o ras nid o weithredoedd: os amgen nid j Pen 3
yw gras yn ras mwyach, ac os o weithredoedd, nid yw 24 Tit 3, 5
yn ras mwyach: pe amgen ni bydde gweithred mwy
yn weithred.
7 k Beth ynte? ni chafas Israel yr hyn y mae yn ei k Pen 10
geisio: eithr yr etholedigaeth a'i cafas, a'r lleill a ga- 3 Ioan 6,37
ledwyd. Ioan 15, 40
8 l Megis y mae yn scrifennedic, Rhoddes Duw idd- l Esa 6, 9
ynt yspryd trym-gwsc: llygaid fel na welant, a chlust- a 26 10
iau fel na chlywant hyd y dydd heddyw.
9 m Ac y mae Dafydd yn dywedyd, Byddet eu bord m Sal 69
hwy yn fagl ac yn rhwyd, ac yn rhwystr, ac yn daled- 22
igaeth iddynt.
10 n Tywyller eu llygaid hwy fel na welant, a n Deut 28
chrymma di eu cefnau bob amser. 64, 67
11 Gan hynny meddaf, A dramgwyddasant hwy fel

y cwympent ymmaith? na atto Duw: eithr trwy eu
cwymp hwy y daeth iechydwriaeth i'r cenhedloedd i
yrru eiddigedd arnynt.
o Esa. 60 12 o O herwydd pa ham os ydyw eu cwymp hwy yn
1 olud i'r byd, a'u lleihad hwy yn gyfoeth cenhedloedd,
pa faint mwy y bydd eu cyflawnder hwy?
13 p Canys meddaf i chwi y cenhedloedd, yn gym-
p 1Cor 15 10 meint a'm bod i yn Apostol y cenhedloedd yr wyf yn
mawrhau fy swydd:
q 2Cor. 9 14 q [Er ceisio] yn rhyw fodd yrru eiddigedd os
22 [fyng-hig a'm gwaed] fy hun ac achub rai o honynt.
r Dan. 12 15 r Canys os eu gwrthodiad hwy yw cymmod y byd,
2 Ezec. 37 beth fydd eu derbynniad, onid bywyd o feirw.
16 16 s Canys os y blaen-ffrwyth sydd sanctaidd [sanct-
s Gen. 17 taidd] hefyd [yw] 'r clamp toes: ac os yw'r gwreiddin
7 yn sanctaidd, y canghennau hefyd ydynt [sanctaidd.]
t Eph. 2, 12 17 t Ac os torrwyd rhai o'r canghennau ymmaith,
Ioan 1,16 a'th impio dithe yr hwn oeddit yn olewydden wyllt
arnynt yn eu lle hwynt, a'th wneuthur yn gyfrannog
o'r gwreiddin, ac o fraster yr olew-wydden.
u 1Cor. 4 18 u Na orfoledda yn erbyn y canghennau: ac os
7 gorfoleddi, nid wyt ti yn dwyn y gwreiddin, eithr y
gwreiddin dy di.
19 Tithe a ddywedi, Fe a dorrwyd ymmaith y cang-
hennau fel yr impid fi i mewn.
v Gal. 2 20 v Da: trwy anghrediniaeth y torrwyd hwynt ym-
20 maith, a thithe sydd yn sefyll trwy ffydd, na fydd uch-
el-fryd, eithr ofna.
w Dat. 2 21 w Canys os Duw ni arbedodd y canghennau natur-
4 iol, [gwilia] rhag na arbedo dithe chwaith.
22 Gwel am hynny gymmwynas, a thoster Duw, i'r
rhai a gwympasant, toster: onid cymmwynas i ti os
arhossi yn ei gymmwynas ef: os amgen, torrir dithe
hefyd ymmaith.
x Pen. 3 23 A hwyntau, oni arhosant yn anghredyniaeth, a
24 Ioan.13,2 impir i mewn: canys gall Duw eu himpio hwynt i
6 mewn trachefn.
24 Cannys os torrwyd ty-di allan o'r olew-wydden yr
hon oedd wyllt wrth naturiaeth, a'th impio yn erbyn
naturiaeth mewn gwir olew-wydden, pa gymmaint
mwy y caiff y rhai sy wrth naturiaeth, wedi eu himpio
yn eu holew-wydden eu hunain?
y Diar. 3 25 y Canys ni ewyllysiwn frodyr na wyddech chwi
7 y dirgelwch hyn, (rhag eich bod yn rhy ddoethion
ynoch eich hunain) mai o ran y daeth cyndynrwydd i
Israel, hyd oni ddele cyflawnder y cenhedloedd i
mewn.
z Hos. 1 26 z Ac felly y bydd yr holl Israel yn gadwedig fel y
11 Esa. 59 mae yn scrifennedic, Y gwared-wr a ddaw allan o
20 Ioel 3, 17 Sion, ac a dry ymmaith yr anwiredd oddi wrth Iacob.
a Ier. 32 27 a A hyn yw 'r ammod sydd iddynt gennifi, pan
40 ddugwyf ymmaith eu pechodau.
b Act. 22 28 b Felly tu ag at am yr Efengyl, y maent hwy yn
22 elynnion o'ch plegit chwi: onid o herwydd yr ethol-
edigaeth, hwy a gerir er mwyn y tadau.
c Pen. 6 29 c Canys diedifarus yw donniau, a galwedigaeth
23 Duw.
d Tit. 3, 4 30 d Canys megis yr anghredasoch chwi gynt i Dduw,
5 ac yr ydych yn awr wedi cael trugaredd trwy eu ang-
1 Cor. 6 hrediniaeth hwy:
11 31 Felly yr awr hon hwythau a anghredasant y dru-
garedd [a ddangoswyd] i chwi, fel y cânt hwythau
e Gal. 3 hefyd drugaredd.
22 Ioan 12 32 e Canys Duw a gaeuodd bawb mewn anghredyn-
32 iaeth, fel y trugarhae wrth bawb oll.

33 f O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw, f Eph. 1, 7
morr anchwiliadwy yw ei farnau ef, ac [morr] anfeld-
rol [yw] ei ffyrdd ef?
34 g Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd? neu g Esa. 40 13
pwy a fu yn gynghor-wr iddo ef?
35 h Neu pwy a roddes iddo ef yn gyntaf, ac fe a h 1 Cron.
delir iddo ef? 29, 11
36 Canys o honaw [ef] a thrwyddo ef, ac ynddo ef
y mae pob dim oll: iddo ef [y byddo] gogoniant yn
oes oesoedd. Amen.

## PEN. XII.

*Y modd y mae i amryw ddynion fyw yn eu hamryw alwedigaethau.*

AM hynny yr wyf yn attolwg i chwi frodyr, er
trugareddau Duw, roddi o honoch eich cyrph
yn aberth byw sanctaidd cymmeradwy gan Dduw, [yr
hwn yw] eich rhesymmol wasanaeth.
2 i Ac na chyd ymffurfiwch â'r byd hwn, eithr ym- i 1 Cor 5
newidiwch gan adnewyddiad eich meddwl, fel y 17 Eph. 4, 23
galloch brofi beth yw ewyllys Duw, [yr hon sydd]
dda, a chymmeradwy, a pherffaith.
3 j Canys yr wyf yn dywedyd trwy y gras a roddwyd j Mat. 13
i mi wrth bob un sydd yn eich plith, na byddo i neb 52
ddeall uwch-law y dyler deall, onid deall o honaw i
fod yn sobr, fel y rhannodd Duw i bob un fesur ffydd. k Sal. 139
4 k Canys megis y mae i ni lawer o aelodau mewn un 13. 16
corph, ac nad oes i'r holl aelodau yr un swydd:
5 l Felly [ninneu er ein bod] yn llawer, ydym un l Eph. 1
corph yng-Hrist, a phob un yn aelod iw gilydd. 23
6 m A chan fod i ni amryw ddonniau yn ol y gras a a 4. 4
roddwyd i ni, os prophwydoliaeth [bydded] yn ol m 1Cor. 14 1
cyssondeb y ffydd.
7 n Neu os swydd, [dilynwn] y swydd: neu os athro n Act. 20
[rhodded] athrawiaeth, 28
8 o Neu os cynghorwr, [edryched ar] y cynghor, yr o Act 9, 3
hwn a gyfranno, [cyfranned] mewn symlrwydd, a ly- 5
wodraetha, [gwnaed] yn ddiesceulus: a drugarhao, 1Tim. 3, 8
[gwnaed] yn llawen.
9 Bydded cariad heb ragrith: casewch yr hyn sydd
ddrwg, a glynwch wrth yr hyn sydd dda.
10 p Mewn cariad brawdol byddwch garedig iw p Phil. 2 3
gilydd, gan flaenori eu gilydd yn rhoddi parch. Gen. 13, 9
11 q Heb fod yn ddiog mewn astudrwydd, yn frydion q Dat. 3 16
yn yr Yspryd, yn gwasanaethu yr Arglwydd. Ioan 5, 35
12 Yn llawen mewn gobaith, yn ddioddefgar mewn
cystudd, yn barhaus mewn gweddi.
13 Yn cyfrannu wrth gyfreidiau 'r sainct, ac yn dilyn
rhoddi lletty.
14 Bendithiwch y rhai sydd yn eich ymlit, bendith-
iwch meddaf, ac na felldithiwch.
15 Byddwch lawen gyd â'r llawen, ac yn wylo gyd
â'r wylofus.
16 r Byddwch yn un fryd â'i gilydd, na fyddwch r Sal. 131, 1
uchel feddwl: eithr yn gydostyngedig â'r rhai iselradd, Col. 2, 18
na fyddwch ddoethion yn eich tyb eich hunain.
17 s Na thelwch i neb ddrwg am ddrwg: darperwch s Phil. 4, 8
bethau onest yng-olwg pob dyn.
18 Os [yw] bossibl hyd y mae ynoch chwi, byddwch
heddychlawn â phob dyn.
19 t Nac ymddielwch rai annwyl, onid rhoddwch le t Deut. 32
i ddigofaint: canys y mae yn scrifennedic, I mi y mae 35
dial, mi a'i talaf, medd yr Arglwydd.
20 Am hynny os dy elyn a newyna, portha ef: os
sycheda, dod iddo ddiod, canys os gwnei hyn ti a ben-
tyrri farwor am ei ben ef.

21 Na orchfyger di gan ddrygioni, eithr gorchfyga
di ddrygioni trwy ddaioni.

## PEN. XIII.

*Y mae yn annog i ufyddhau swyddogion, 8 Gan ddilyn cariad perffaith, 11 A buchedd sancteiddiol.*

n Act. 4, 19 YMDDAROSTYNGED [n] pob [perchen] enaid i'r
awdurdodau goruchel, am nad oes awdurdod onid
oddi wrth Dduw, a'r awdurdodau sydd, gan Dduw y
maent wedi eu hordeinio.

v Num. 16, 1 2 [v] Am hynny pwy bynnac sydd yn ymosod yn erbyn
yr awdurdod, sydd yn gwrthwynebu ordinhad Duw:
a'r rhai a wrthwynebant, a dderbyniant farnedigaeth
iddynt eu hunain.

w Diar. 14, 35. a16 13 3 [w] Canys tywysogion nid ydynt ofn i weithredoedd
da, eithr rhai drwg: a fynni nad ofnech y gallu? gwna
yr hyn sy dda, ac ti a gei glod ganddo.

4 [x] Canys gwasanaethwr Duw ydyw, er lles i ti, eithr
x 1 Tim. 2, 2 os gwnei'r hyn sy ddrwg, ofna am nad yw efe yn dwyn
Diar. 20, 16 y cleddyf yn ofer: canys gweinidog Duw yw efe, i
ddial llid ar yr hwn a wnelo ddrwg.

y 1 Sam. 24, 5 5 [y] Herwydd pa ham angenrhaid yw ymddarostwng
nid yn unic o herwydd llid, eithr er mwyn cydwybod.

6 Canys am hynny y telwch deyrn-ged: o blegid
gwasanaeth-wyr Duw ydynt, yn ymroi i'r peth ymma.

z Sal. 15, 4 Ecs. 20, 12 7 [z] Telwch gan hynny i bawb [eu] dyledion: teyrn-
ged i'r neb [y byddo arnoch] deyrnged, toll i'r hwn [y
byddo arnoch] doll: ofn i'r hwn [y byddo iawn] bod
ofn, parch i'r hwn [a ddyle] barch.

a Iago 2, 8 8 [a] Na fyddwch yn nyled neb: oddi eithr o garu
pawb ei gilydd: canys yr hwn sydd yn caru arall, a
gyflawnodd y gyfraith.

9 [b] Canys hyn, Na odineba, na ladd, na ledratta, na
b Gal. 5, 15 ddwg gam destiolaeth: na thrachwanta, ac os oes [un]
Iago 2, 8 gorchymyn arall, y mae wedi ei gynnwys yn grynno
yn yr ymadrodd hwn, Câr dy gymmydog fel ti dy
hun.

c 1 Tim. 1, 5 10 [c] Cariad ni wna ddrwg i'n cymmydog, am hynny
cariad yw cyflawnder y ddeddf.

d 1 Cor. 7, 29 11 [d] Am hynny gan weled yr amser, [ei bod] hi
weithian yn bryd i ddeffroi o gysgu: canys yr awr
Ioan 12, 35 hon y mae ein iechydwriaeth yn nes na phan gredasom.

e Rhuf. 6, 3 12 [e] Y nos a aeth heibio, a'r dydd sydd yn nesau, am
2 Cor. 6, 7 hynny bwriwn ymmaith weithredoedd y tywyllwch, a
gwiscwn arfau y goleuni.

f Eph. 5, 15 13 [f] Rhodiwn yn weddus [megis wrth] liw dydd: nid
Pen. 12, 17 mewn cyfeddach a meddwdod, nid mewn cydorwedd
ac anlladrwydd, nid mewn cynnen, a chenfigen:

14 [g] Eithr gwiscwch am-danoch yr Arglwydd Iesu
g Gal. 3, 27 Grist, ac na fydded eich gofal tros y cnawd er mwyn
Eph. 3, 17 porthi ei chwantau.

## PEN. XIV.

*Y mae yn cynghori na ddirmyger y gweiniaid o ffydd, 10 Na farner neb am ei gydwybod mewn pethau cyffredin, 15 Ond cyd-ddwyn o honom â'i gilydd.*

h Pen. 15, 2 YR [h] un sydd wann o ffydd derbynniwch attoch,
[ond] nid i ymrysonnion dadleugar.

i 1 Tim. 4, 4 2 [i] Canys y mae un yn credu y gall fwyta pob peth:
ac y mae arall yr hwn sydd wann [ei ffydd] yn bwyta
dail.

j Marc 9, 12 3 [j] Na ddirmyged yr hwn sydd yn bwyta, yr hwn
Esa. 65, 5 nid yw yn bwyta: ac na farned yr un ni fwytu, yr hwn
sydd yn bwyta: canys Duw a'i derbynniodd ef.

k Mat. 7, 1 4 [k] Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu gwas gwr arall?
Iago 4, 11, 12 y mae efe yn sefyll neu yn cwympo iw arglwydd ei
hun: a efe a gynhelir; canys dichon Duw ei gynnal ef.

5 [l] Y mae un yn barnu fod dydd uwch law dydd, ac l Esa. 3, 20
arall yn barnu fod pob dydd yn [ogyfuwch,] bydded
pob un yn sicer yn ei feddwl.

6 [m] Yr hwn sydd yn ystyried dydd, i'r Arglwydd y m 1 Cor. 10, 31
mae yn ystyried, a'r hwn nid yw yn ystyried dydd, i'r 1 Tim. 4, 4
Arglwydd y mae heb ystyried: yr hwn sydd yn bwyta Mat. 14, 19
i'r Arglwydd y mae yn bwyta, canys y mae yn diolch
i Dduw, a'r hwn nid yw yn bwyta i'r Arglwydd y mae
heb fwyta, ac y mae yn diolch i Dduw.

7 [n] Canys nid yw yr un o honom yn byw iddo ei n Phil. 1, 21
hun, ac nid yw yr un yn marw iddo ei hun.

8 [o] Canys os byw yr ydym, byw yr ydym i'r Argl- o Sal. 55, 22
wydd, os marw yr ydym, marw yr ydym i'r Arglwydd, a 116, 16
am hynny pa un bynnac yr ydym a'i byw a'i marw,
eiddo yr Arglwydd ydym ni.

9 [p] O blegit er mwyn hyn y bu farw Crist, ac yr ad- p Phil. 2, 9
gyfodes, ac y bu fyw trachefn, fel yr arglwyddiaethe ar Esa. 53, 1
y meirw a'r byw.

10 [q] Pa ham gan hynny yr wyt ti yn barnu dy frawd? q 2 Cor. 5, 10
neu pa ham yr wyt yn dirmygu dy frawd? o herwydd Act. 17, 30
ni a ymddangoswn oll ger bron gorseddfangc Crist.

11 [r] Canys y mae yn scrifennedig, Byw wyfi medd r Phil. 2, 10
yr Arglwydd: o blegit pob glin a blyga i mi, a phob
tafod a gyffessa i Dduw.

12 [s] Felly ynte pob un o honom a rydd gyfrif am s Gal. 6, 5
dano ei hun i Dduw. Pen. 2, 15

13 [t] Am hynny na farnwn mwyach neb ei gilydd, t Ioan 5, 14
onid yn hytrach ystyriwch hyn: na roddo neb i'w
frawd achos tramgwydd, neu rwystr.

14 [u] Mi a wn, ac y mae yn sicer gennif trwy 'r Ar- u Act. 10, 15
glwydd Iesu, nad oes dim yn aflan o honaw ei hunan:
onid yr un sydd yn tybied fod peth yn aflan, iddo ef y
mae yn aflan.

15 [v] Eithr os tristeuir dy frawd o blegit bwyd nid v 1 Cor. 8, 4
wyt yr awr hon yn rhodio yn ol cariad, na chell ef
â'th fwyd, yr hwn y bu Crist farw trosto.

16 [w] Na chabler eich daioni chwi. w Gal. 5, 1

17 [x] Canys nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod, onid x 1 Cor. 8, 8
cyfiawnder, a thangneddyf, a llawenydd yn yr Yspryd
Glân.

18 [y] Pwy bynnac gan hynny a wasanaetho Grist yn y Ioan 5, 23
y pethau hyn, sydd gymmeradwy gan Dduw, a chan- a 14, 1
moladwy gan ddynion.

19 [z] Felly dilynwn ni y pethau sy o blegit tangnedd- z Heb. 12, 14
yf: a'r pethau sy yn adeiladu eu gilydd.

20 [a] Na ddinistria waith Duw er mwyn bwyd: diau a Tit. 1, 15
yw fod pob peth yn lân: eithr drwg yw i'r dyn a
fwytu drwy dramgwydd.

21 [b] Da yw na fwytaer cig, ac nad yfer gwin, na b 1 Cor. 8, 13. a 10. 32
dim drwy'r hyn y tramgwydder, neu y rhwystrir, neu
y gwanheir dy frawd.

22 A oes ffydd gennit ti? bydded hi gyd â thi dy
hun ger bron Duw: gwyn ei fyd yr un nis barna ei
hunan yn yr hyn y mae yn foddlawn iddo.

23 [c] Canys yr un a betrusa, os bwytu y mae yn farn- c Heb. 11, 6
edic, am nad yw efe yn bwyta o ffydd: pa beth byn-
nac nid yw o ffydd, pechod yw.

## PEN. XV.

*1 Paul yn eu cyng-hori i gynnal ac i garu pawb ei gilydd wrth siampl Crist. 9 A thrwy unic drugaredd Duw yr hon sydd achos iechydwriaeth i'r ddwy-blaid. 14 Y mae efe yn dangos ei serch iddynt hwy a'r eglwys. 30 Ac yn dymuno yr un rhyw ganddynt hwy.*

NYNI [d] y rhai cedyrn a ddylem ddwyn gwendid yr d Phil. 2, 3, 4
ang-hedyrn, ac nid ein boddhau ein hunain.

e 1 Cor. 10 24 2 [e] Am hynny boddhaed pawb o honom ei gymydog
yn yr hyn sydd dda i adeilad.
b Phil. 2 5 3 [f] Canys Crist nis boddhaodd ei hunan, eithr megis
b Esa. 53 5 y mae yn scrifennedic, Gwradwyddiad y rhai a'th
wradwyddasant di, a syrthiodd arnafi.
g Ioan 5 39 4 [g] Canys y pethau a scrifennwyd ym mlaen llaw, er
addysc i ni yr yscrifennwyd hwy, fel y gallem trwy
1 Cor. 10 11 ammynedd a chyssur yr scrythurau gael gobaith.
h Heb. 13 14 5 [h] A Duw yr ammynedd a'r cyssur a roddo i chwi
synnied yr un peth [bawb] â'i gilydd yn ol Crist Iesu.
i Act. 4, 32 6 [i] Megis o gytundeb, ac o un genau y galloch fol-
Luc 1, 70 iannu Duw, a Thad ein Harglwydd Iesu Grist.
j Ioan 13 34 7 j O herwydd pa ham derbynniwch bawb eu gilydd,
megis y derbynniodd Crist ninnau i ogoniant Duw.
k Mat. 15 24 8 [k] Ac yr wyf yn dywedyd wneuthur Iesu Grist yn
weinidog i'r enwaediad er mwyn gwirionedd Duw, er
cadarnhau yr addewididion a [wnaethpwyd] i'r tadau.
l Pen. 3 42 9 [l] Ac fel y rhodde y cenhedloedd ogoniant i Dduw
am ei drugaredd, fel y mae yn scrifennedig: Am hyn
Sal. 18, 44 i'th gyffessaf ym mhlith y cenhedloedd, ac y canaf
i'th enw.
10 A thrachefn y dywed, Ymlawenhewch genhedl-
oedd gyd â'i bobl ef.
m Sal. 117 1 11 [m] A thrachefn, Molwch yr Arglwydd yr holl gen-
hedloedd, a chydfolwch ef yr holl bobloedd.
n Esa. 11 10 12 [n] A thrachefn Esaias a ddywed, Fe fydd gwreidd-
in Iesse, a'r hwn a gyfyd i lywodraethu y cenhedl-
oedd, yn hwnnw y gobeithia y cenhedloedd.
o Phil. 4, 4 13 [o] A Duw 'r gobaith a'ch cyflawno o bob llawen-
1 Cor. 12 6 ydd a thangneddyf, gan gredu fel eich amlhaer yng-
1 Thes. 1 6 obaith trwy nerth yr Yspryd Glân.
p Phil. 1 7 14 [p] Ac y mae yn siccr gennif fi fy hun am danoch
Pen. 14, 17 chwi fy mrodyr, eich bod chwi yn llawn daioni ac yn
gyfiawn o bob gwybodaeth, ac y medrwch gynghori
eu gilydd.
q 2 Pedr 1, 12 15 [q] Er hynny frodyr mi a scrifennais attoch yn hyf-
a 3, 1 ach, fel un yn dwyn ar gof i chwi, trwy y gras a rodd-
wyd i mi gan Dduw,
r Gal. 2, 7 16 [r] I fod o honof yn wasanaethwr Iesu Grist ym
9 mysc y cenhedloedd, gan wethio trwy Efengyl Dduw,
Mal. 1, 11 fel y bydde offrymiad y cenhedloedd yn gymmeradwy,
wedi ei sancteiddio gan yr Yspryd Glân.
s Jer. 9, 24 17 [s] Y mae i mi gan hynny a ymlawenychwyf yng-
1 Cor. 3, 6 Hrist Iesu, yng-hyfryw bethau, ac a [berthyn] i Dduw.
7 18 [t] Am na feiddiaf yngen am ddim, a'r nis gwnaeth
t 2 Cor. 10 12 Crist trwofi i [wneuthur] y cenhedloedd yn ufydd ar
Luc 24 19 air a gweithred.
Act. 1, 1 19 Trwy nerth arwyddion a rhyfeddodau gan nerth
Yspryd Duw: hyd pan o Ierusalem ac o amgylch hyd
Illyricum y llenwais Efengyl Crist.
u 2 Cor. 5 9 20 [u] Ac felly gan amgylchu i bregethu 'r Efengyl
1 Cor. 3, 10 nid lle yr henwid Crist, rhag bod i mi adailad ar sail
Eph. 2, 20 neb arall.
v Esa. 52 15 21 [v] Eithr y mae yn scrifenuedic, Y neb ni fynegwyd
iddynt am dano ef, a'i gwelant ef, a'r rhai ni chlyw-
sant a ddeallant.
22 Am hynny hefyd i'm lluddiwyd i yn fynych i
ddyfod attoch chwi.
23 Eithr yr awr hon (am nad oes i mi le mwy yn yr
ardalau hyn, a hefyd bod arnaf chwant er ys llawer o
flynyddoedd i ddyfod attoch chwi)
24 Pan elwyf i Hispaen, y deuaf attoch chwi: canys
yr wyf yn gobeithio wrth fyned heibio y caf eich gwel-
ed, a'm hebrwng gennych yno, wedi i mi yn gyntaf
gael fyng-wala o honoch]

25 Ac yr awr hon yr wyf yn myned i Ierusalem i
weini i'r sainct.
26 [w] Canys rhyngodd bodd i'r [rhai o] Macedonia ac w 2 Cor. 8
Achaia, wneuthur rhyw gymmorth i'r sainct tlodion 3
y rai ydynt yn Ierusalem.
27 [x] Canys rhyngodd bodd iddynt, a'u dyledwyr yd- x 2 Cor. 9
ynt: o blegit os y cenhedloedd a gawsant ran o'u 11
pethau ysprydol hwynt, hwythau hefyd a ddylent
weini iddynt bethau cnawdol.
28 [y] Yna wedi i mi orphen hyn, a selio iddynt y y Gal. 5, 6
ffrwyth hwn, mi a ddeuaf heboch i'r Hispaen. 22
29 Ac mi a wn pan ddelwyf attoch, y deuaf a chyf-
lawnder bendith Efengyl Grist.
30 [z] Hefyd frodyr yr wyf yn attolwg er mwyn ein z Iago 5
Harglwydd Iesu Grist, ac er cariad yr Yspryd, ymeg- 15
nio o honoch, gyd â mi mewn gweddiau at Dduw Luc 18, 1
trosof, Eph. 6, 19
31 [a] A'r fy rhyddhau oddi wrth y rhai sydd yn anu- a Act. 21
fydd yn Iudæa, ac i'm gweinidogaeth yr hon sydd iw 33
[gwneuthur] yn Ierusalem, fod yn gymmeradwy gan y
sainct.
32 Fel y gallwyf ddyfod attoch mewn llawenydd
trwy ewyllys Duw, ac ymlonni gyd â chwi. b Pen. 16
33 [b] A Duw 'r heddwch [fyddo] gyd â chwi oll. 20
Amen. Phil 4, 9
1 Thes. 5 23

## PEN. XVI.

*Wedi annerch llawer, 17 Y mae yn eu rhybyddio i ochelud gau frodyr. 20 Gan weddio a diolch i Dduw trostynt hwy.*

YR wyf yn gorchymyn i chwi Phœbe ein chwaer,
yr hon sydd weinidog i eglwys Cenchrea:
2 [c] Dderbyn o honoch hi yn yr Arglwydd megis y c 1 Tim. 5
mae yn addas i sainct, a'i chynnorthwyo ym mhob 10
neges y byddo rhaid iddi wrth eich help: canys hi a
gynnorthwyodd lawer, a minne hefyd.
3 [d] Anherchwch Pryscilla ac Aquila fyng-hydweith- d Act. 18
wyr yng-Hrist Iesu: 2
4 [e] (Y rhai a ddodasant i lawr eu gyddfau eu hunain e Act. 18
tros fy mywyd i, i'r rhai nid wyfi yn unic yn diolch, 18
onid hefyd holl eglwysydd y cenhedloedd)
5 [f] [Anherchwch] hefyd yr eglwys yr hon sydd yn f Col. 4, 15
eu tŷ hwy, anherchwch fy anwyl Epenetus yr hwn yw Philem. 2
blaen-ffrwyth Achaia yng-Hrist. Pen. 11 16
6 Anherchwch Mair yr hon a gymmerodd boen law-
er drosom ni.
7 [g] Anherchwch Adronicus, ac Iunia fyng-heraint g Col. 4, 10
a'm cydgarcharorion y rhai sy hynod ym mhlith yr 2 Cor. 8
Apostolion, y rhai oeddynt yng-Hrist cyn na myfi. 23
8 Anherchwch Amplias fy annwylyd yn yr Argl-
wydd.
9 Anherchwch Urbanus ein cydweith-wr ac Stachys
fy annwylyd.
10 [h] Anherchwch Appeles y profedic yng-Hrist, an- h Phil. 2
herchwch y rhai sy o [dylwyth] Aristobulus. 22
Luc 8, 2
11 Anherchwch Herodian fyng-hâr: anherchwch y
rhai sy o [dylwyth] Narcissus, y rhai ydynt yn yr Ar-
glwydd.
12 [i] Anherchwch Triphania a Thriphosa, y rhai a i Mat. 9
gymmerasant boen yn yr Arglwydd: anherchwch yr 38
annwyl Persis, yr hon a gymmerodd boen lawer yn yr
Arglwydd.
13 j Anherchwch Rufus etholedig yn yr Arglwydd, j 1 Tim. 5
a'i fam ef a minne. 2
14 Anherchwch Asyncrytus, Phlegontes, Herma,
Patrobas, Mercurius, a'r brodyr y rhai [sy] gyd ag hwy.

15 Anherchwch Philologus ac Iulia, Nereus a'i
chwaer, ac Olympr, a'r holl sainct y rhai ydynt gyd â
hwynt.
k 1 Pedr 5 14 16 k Anherchwch y naill y llall â chusan sanctaidd:
1 Cor. 16 20 y mae eglwys Grist yn eich annerch.
17 Ac yr wyf yn attolwg i chwi frodyr edrych yn
graff ar y rhai sy yn peri ang-hydfod a rhwystrau yn
erbyn yr athrawiaeth a ddyscasoch, ac ymogelwch
rhagddynt.
l Tit.1,11 18 l Canys y rhai sy gyfryw nid ydynt yn gwasan-
2Tim.3.6 aethu yr Arglwydd Iesu Grist, eithr eu boliau eu hun-
Eph.4,14 ain, a thrwy eiriau teg, a gweniaith yn twyllo calon-
nau y rhai diddrwg.
m Mat.10 16 19 m Canys eich ufydd-dod chwi a ddaeth ar lled at
bawb oll: yr wyf yn llawen gan hynny am danoch,
ac etto mi a ewyllysiaf eich bod yn ddoethion tu ag
at ddaioni, ac yn ddiniwed tu ag at ddrygioni.
n Gen.3, 15 20 n A Duw y tangneddyf a sathr Satan tann eich
Dat12,11 traed heb o hir: Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo
1Cor.6, 3 gyd â chwi.

21 o Y mae Timotheus fyng-hydweith-wr a Lucius, o Act.16 1, 2
ac Iason, a Sosipater fyng-heraint yn eich annerch.
22 Yr ydwyf fi Tertius yn eich annerch yn yr Ar-
glwydd, yr hwn a scrifennodd yr Epistol hwn.
23 p Y mae Gaius fy lletteu-wr a'r holl eglwys yn p Act.20 4
eich annerch: y mae Grastus gorchwiliwr y ddinas yn 1Cor.1,14
eich annerch, a'r brawd Quartus.
24 Gras ein Harglwydd Iesu Grist a fyddo gyd â
chwi oll. Amen.
25 q Iddo ef yr hwn a ddichon eich cadarnhau, yn ol q 2 Tim.1 13
fy Efengyl a phregethiad Iesu Grist, gan ymddad- Col.1,26
cuddiad y dirgelwch, yr hwn oedd gyfrinachol er yn
oes oesoedd:
26 r (Ac ar yr awr hon a eglurhawyd, ac a gyhoedd- r Act.26 22
wyd ym mhlith yr holl genhedloedd trwy scrythurau 1 Pedr 1 10
'r prophwydi, wrth orchymyn y tragywyddol Dduw
er mwyn ufydd-dod ffydd)
27 s I Dduw [meddaf] yr unic ddoeth, bydded y go- s 1Tim.1 17
goniant trwy Iesu Grist yn oes oesoedd. Amen. Eph 3,20 Col.3,17

*Terfyn Epistol* ***PAUL*** *at y* ***RHUFEINIAID****, yr hwn a scrifennwyd o Corinth, ac a anfonwyd trwy Phœbe, yr hon oedd wenidog yr eglwys yn Cenchrea.*

# YR EPISTOL CYNTAF I SANCT PAUL

AT Y

# CORINTHIAID.

## PENNOD I.

*Paul yn annerch y Corinthiaid, ac yn diolch am y gras a roddase Duw iddynt. 10 Yn dymuno undeb. 14 Yn dangos y rhai a fedyddiase efe. 18 Beth yw synnwyr bydol i'r Efengyl.*

a Act.18 1 PAUL a yr hwn a alwyd [i fod] yn Apostol Iesu
b Pen. 6 11 Grist, trwy ewyllys Duw, a'r brawd Sosthenes:
Act.18, 1 2 b At eglwys Dduw yr hon sydd yn Corinth, at y
rhai a sancteiddiwyd yng-Hrist Iesu, y rhai a elwir yn
sainct gyd â phawb, a alwo ar enw yr Arglwydd Iesu
c Rhuf. 1 7 Grist, ym mhob man o'r eiddynt hwy a ninnau,
3 c Gras [fyddo] gyd â chwi, a thangneddyf gan
Dduw ein Tad, a chan yr Arglwydd Iesu Grist.
d Act. 11 18 4 d I'm Duw yr wyf yn diolch drosoch chwi yn oes-
tad, am y gras Duw a rodded i chwi yn Iesu Grist,
e Eph 1,3 5 e Am eich cyfoethogi ym mhob peth ynddo ef,
Pen.13, 9 mewn pob ymadrodd, a phob gwybodaeth:
6 Megis y cadarnhauwyd testiolaeth Crist ynoch,
7 Fel nad ydych chwi yn ddiffygiol o un dawn gan
ddisgwil am ymddangosiad ein Harglwydd Iesu Grist.
f Ioan 13 1 8 f Yr hwn hefyd a'ch cadarnha chwi hyd y diwedd
Rhuf 8 38 yn ddiargyhoeddus yn nydd ein Harglwydd Iesu
Grist.
g 1 Thes.5 24 9 g Ffyddlawn yw Duw trwy yr hwn i'ch galwyd i
1 Ioan 1,3 gymdeithas ei Fab ef Iesu Grist ein Harglwydd ni.
h Eph 4,3 10 h Ac yr wyf yn atolwg i chwi frodyr, trwy enw
ein Harglwydd Iesu Grist, ar ddywedyd o bawb o
honoch chwi yr un peth, ac na byddo ymbleidio yn
eich plith, eithr bod o honoch wedi ymgyssylltu yng-
hyd, yn un feddwl, ac yn un farn.
11 Canys fe ddangoswyd i mi am danoch chwi fy
mrodyr, gan y rhai [sy o dŷ] Cloe, fod cynhennau yn
eich mysc chwi.
12 i Hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, bod pob un o i Ioan 9 27
honoch yn dywedyd, Yr ydwyf fi yn eiddo Paul, min-
ne yn eiddo Apollos, minne yn eiddo Cephas, minne
yn eiddo Crist.
13 j A rannwyd Crist? ai Paul a groes-hoeliwyd j Eph 4, 4
trosoch? neu ai yn enw Paul i'ch bedyddiwyd chwi? 3 a 1, 22
14 Yr ydwyf yn diolch i Dduw, na fedyddiais i neb
o honoch, ond Crispus a Gaius,
15 Rhag i neb ddywedyd i mi fedyddio yn fy enw
fy hunan.
16 Mi a fedyddiais hefyd dylwyth Stephanas, ac ni
wn a fedyddiais i neb arall.
17 k Canys ni anfonodd Crist fi i fedyddio, onid i ef- k Act 10 48
engylu, nid mewn doethineb ymadrodd, rhag gwneu- Pen 9, 16
thur croes Crist yn ofer:
18 l O herwydd pregethu y groes, nid yw ond yn- l Act 17 32
fydrwydd gan y rhai colledig, eithr nerth Duw ydyw a 16, 24
i ni y rhai sy gadwedig.
19 m Canys scrifennedic yw, Mi a ddeleuaf ddoeth- m Esa 29 14
ineb y doethion, ac a fwriaf ymmaith ddeall y rhai
dehallus.
20 Pa le y mae 'r doeth? mae 'r scrifennudd? mae
ymholudd y byd hwn? oni wnaeth Duw ddoethineb y
byd hwn yn ynfydrwydd?
21 n O blegit gan yn noethineb Duw nad adnabu y n Mat 16 17
byd trwy ddoethineb mo Dduw, fe welodd Duw yn
dda trwy ffolineb pregethiad, gadw y rhai sy yn
credu.
22 o O blegit y mae yr Iddewon yn gofyn arwydd, o Mat 16 1

a'r Groeg-wyr yn ceisio doethineb,
23 Eithr yr ydym ni yn pregethu Crist wedi ei groes-
hoelio, i'r Iddewon yn dramgwydd, ac i'r Groeg-wyr
yn ffolineb,
p Col 2,3 24 p Ond i'r Iddewon a'r Groeg-wyr y rhai a alwyd,
yn Grist, yn nerth Duw, ac yn ddoethineb Duw.
25 Canys ffolineb Duw sydd ddoethach na dynion:
a gwendid Duw sydd gryfach na dynion.
q Ioan 7 26 q Chwi a welwch eich galwedigaeth (frodyr) nad
47 llawer o ddoethion yn ol y cnawd, nad llawer o ged-
yrn, nad llawer o foneddigion,
r Act.4,13 27 r Eithr Duw a etholodd ffol bethau y byd i wrad-
wyddo y doethion, a gwael bethau y byd, a etholodd
Duw i wradwyddo y cedyrn.
s Luc 16 28 s A Duw a ddewisodd y pethau distadl yn y byd,
15 a'r pethau dirmygus, a'r pethau nid ydynt [ddim] er
deleu y pethau ydynt [beth,]
t Rhuf 3 29 t Fel na orfoleddo un cnawd ger ei fron ef.
19 u Rhuf 30 u Eithr yr ydych chwi o honaw ef yng-Hrist Iesu,
11, 36 yr hwn a ddarfu i Dduw ei wneuthur yn ddoethineb
Heb 10 i ni, ac yn gyfiawnder, ac yn sancteiddrwydd, ac yn
10 ymwared.
v Jer 9,23 31 v Fel y mae yn scrifennedig, Yr hwn a ymorfol-
24 eddo, ymorfoledded yn yr Arglwydd.

PEN. II.

*Am ddull ei bregeth ef. 10 Am waith Yspryd Duw yn y duwiol. 11 Am wr naturiol, beth a all efe heb yr Yspryd hwn.*

w Pen 1 A MYFI (frodyr) pan ddaethym attoch ni ddaeth-
17 ym â godidogrwydd ymadrodd neu ddoethineb,
a 4, 16 gan fynegu i chwi destiolaeth Dduw.
x Ioan 17 2 x Canys ni fernais i mi wybod dim yn eich plith,
3 ond Iesu Grist, ac yntef wedi ei groes-hoelio.
y Act 18 3 y A mi a fum yn eich mysc mewn gwendid, ac ofn,
3 a dychryn mawr.
4 Ac ni bu fy ymadrodd na'm pregeth mewn geiriau
i ddenu a doethineb ddynawl, ond yn eglurhad yr
Yspryd a nerth.
z Act 16, 5 z Fel na byddo eich ffydd mewn doethineb dynion,
14 ond mewn nerth Duw.
1 Pedr 1 6 A doethineb yr ydym ni yn ei thraethu ym mysc
5 rhai perffaith, nid doethineb y byd hwn, na thywys-
ogion y byd hwn y rhai sy yn diflannu:
a Rhuf 16 7 a Eithr yr ydym ni yn traethu doethineb Duw
26 mewn dirgeledigaeth yr hon oedd guddiedic, ac a
ragordeiniodd Duw i'n gogoniant ni cyn bod y byd.
b Ioan 8 8 b Yr hon ni adnabu neb o dywysogion y byd hwn,
19 o herwydd pes adwaenasent ni chroes-hoeliasant Ar-
Luc 23
34 glwydd y gogoniant.
Esa 64 4 9 c Eithr fel y mae yn scrifenedic, Y pethau ni wel-
odd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon
dyn: yr hyn a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef.
d Mat 13 10 d Eithr Duw a'i heglurodd i ni trwy ei Yspryd,
11 canys yr Yspryd sydd yn chwilio pob peth, ïe dyfn-
ion bethau Duw hefyd.
11 Canys pa ddyn a edwyn bethau dyn, ond yspryd
dyn yr hwn sydd ynddo ef? felly yr un-wedd, nid
edwyn neb bethau Duw, ond Yspryd Dduw.
e 1 Ioan 4 12 e Ac nyni a dderbyniasom nid yspryd y byd, ond
4
a 5, 5, 19 yr Yspryd yr hwn [sydd] o Dduw, fel y gwypom y
pethau a roddes Duw i ni.
f Pedr 4 13 f Yr hyn yr ydym ni hefyd yn eu traethu nid â'r
11 geriau a ddyscir gan ddoethineb dynol, ond a ddyscir
gan yr Yspryd Glân, gan gydfarnu pethau ysprydol â
phethau ysprydol.
14 g Eithr dyn anianol nid yw yn deall y pethau g Dat 2
sydd o Yspryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef, 13 Ioan 8, 3
ac ni wyr beth ydynt, o blegit yn ysprydol y bernir 4.
hwynt.
15 h Ond yr hwn sydd ysprydol, a wyr farnu pob h Gal 6, 1
peth, ac ni fernir ef gan neb. Phil 1,10
16 Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd fel y cyf-
arwydde efe ef? ond y mae gennym ni feddwl Crist.

PEN. III.

*Paul yn ceryddu anghytundeb. 8 Yn cyffelybu yr apostolion i lafurwyr. 11 A phregethiad yr Efengyl i adeiladaeth.*

A MYFI (frodyr) ni allwn lefaru wrthych megis
wrth rai ysprydol, ond megis rhai cnawdol, ac
megis plant bychain yng-Hrist.
2 i Rhoddais laeth i chwi i'w yfed, ac nid bwyd, am i Pen 9,
nas gallech [amgen,] ac nis gellwch etto. 22
3 Canys cnawdol ydych chwi etto: canys tra fyddo
yn eich plith chwi genfigen, ac ymryson a chynhen-
nau, ond ydych chwi yn gnawdol yn rhodio yn ddyn-
ol?
4 j Canys tra dywedo un, Myfi ydwyf eiddo Paul, ac j Pen 1,12
arall, Myfi wyf eiddo Apollos, onid ydych chwi yn
gnawdol?
5 Canys, pwy yw Paul? pwy yw Apollos? ond
gweinidogion trwy y rhai y credasoch, a [hynny] fel
y rhoddes yr Arglwydd i bawb?
6 Myfi a blennais, Apollos a ddyfrhaodd, ond Duw
a roddes y cynnydd.
7 k Felly nid yw yr hwn sydd yn plannu ddim, na'r k Ioan 15
hwn sydd yn dyfrhau, ond Duw yr hwn sydd yn rhoi 5
y cynnydd.
8 l Eithr yr hwn sydd yn plannu, a'r hwn sydd yn l 1 Pedr 5
dyfrhau ydynt un, a phob un a dderbyn ei briod wobr 4
ei hun yn ol ei lafur ei hun.
9 m Canys cyd-weithwyr i Dduw ydym ni, chwithau m 2Cor 3
ydych lafur-waith, ac adeiladaeth Duw. 5, 6
10 n Yn ol gras Duw, yr hwn a ddodwyd i mi, megis n Rhuf 15 20
pen-saer celfydd, gosodais i y sail, ac y mae arall yn
goruwch-adeiladu, ond edryched pawb, pa wedd y
mae yn goruwch-adeiladu.
11 o Canys ni all neb osod sail arall, amgen na'r hwn o Mat 16 18
a osodwyd, yr hwn yw Iesu Grist. Act 4, 12
12 Os adeilada neb ar y seiliad hwn, aur, arian,
meini gwerthfawr, coed, gwair [neu] sofl,
13 Gwaith pawb a amlygir: canys y dydd a'i deng-
ys: o blegit gan y tân y dadcuddir, a'r tân a brawf
waith pawb, pa fath sydd arno.
14 p Os gwaith neb yr hwn a oruwch-adeilado efe a p 1 Thes 5
erys, efe a dderbyn wobr. 21
15 q Os llysc gwaith neb, efe a gaiff golled, eithr efe q Mat 6,5
a fydd cadwedic, ond er hynny megis trwy dân. Judas 23
16 Oni wyddoch chwi, mai teml Dduw ydych, a bod
Yspryd Duw yn aros ynoch?
17 Os llygra neb deml Dduw, Duw a lygra hwnnw:
canys sanctaidd yw teml Dduw yr hon ydych chwi. r Heb. 11
18 r Na thwylled neb ei hunan, od oes neb yn eich 8
mysc yn tybied ei fod ei hun yn ddoeth yn y byd hwn: Mat 16 24
bydded ffol fel y byddo ddoeth. 2 Tim. 3
19 s Canys doethineb y byd hwn [sydd] ffolineb gyd 15
â Duw, o herwydd scrifennedic yw, y mae efe yn dal s Job 5,13
y doethion yn eu cyfrwystra.
20 t Ac eil-waith: y mae yr Arglwydd yn adnabod t Sal. 2, 1
meddyliau y doethion mai ofer ydynt. 1 Tim. 4,8
21 Am hynny, na orfoledded neb mewn dynion,

can ys pob peth oll sydd eiddoch chwi.
22 Os Paul, os Apollos, os Cephas, os y byd, os bywyd, os angeu, os pethau presennol, os pethau a ddaw, y maent yn eiddoch chwi oll,
23 A chwithau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw.

## PEN. IV.

*Swydd gweinidog eglwysig. 7 Nailldueth rhai yn y swydd, 9 Dirmyg y gweinidogion, a'u buchedd a'u poen. 15 Paul yn dangos ei awdurdod arnynt, yn gyrru Timotheus attynt. 19 Ac yn addaw dyfod ei hun.*

u Luc 16.1 CYMMERED [u] dyn nyni fel hyn, megis gweinid-
Mat. 13 ogion i Grist, a gorchwylwyr ar ddirgeledigaeth-
52 au Duw.
2 Am ben hyn, y gofynnir gan y gorchwylwyr gael un yn ffyddlon.
v 2Cor. 5 3 [v] Eithr am danaf fi, lleiaf dim gennif, fy marnu
10 gennych chwi, neu gan farn dyn: ac nid wyf chwaith yn fy marnu fy hunan.
w Act. 24 4 [w] Canys ni wn i fy mod yn euog o ddim, ond er
16 hynny ni'm cyfiawnheuir, eithr yr Arglwydd yw yr
1 Ioan 3 hwn sydd yn fy marnu.
24
x Rhuf. 2 5 [x] Er mwyn hynny na fernwch ddim cyn yr amser,
6 oni ddelo yr Arglwydd yr hwn a oleua ddirgelion y
Mat. 25 tywyllwch, ac a eglura feddyliau y galon, ac yna y
34, 41 bydd y glod i bawb gan Dduw.
y Diar. 29 6 [y] A'r pethau hyn frodyr, a fwriais attaf fy hun, ac
23 at Apollos yn siampl, er eich mwyn chwi, fel y gallech ddyscu gennym ni, na byddo i neb fod yn ddoethach nag y mae yn scrifennedic, fel na ymchwytho y naill yn erbyn y llall er mwyn neb.
7 Pwy a'th nailltuodd di? beth hefyd sydd gennit ar nas derbynniaist? ac os derbynniaist pa ham yr wyt ti
z Dat 3,17 yn ymorfoleddu megis na's derbynniasit?
8 [z] Yr awr hon yr ydych chwi yn llawn, yn awr yr aethoch yn gyfoethogion, teyrnasasoch hebom ni: ac och Dduw na baech yn teyrnasu, fel y teyrnasem ninnau gyd â chwi.
a 1Thes. 3 9 [a] Canys tybied yr wyf, ddarfod i Dduw ein dangos
3 Act. 9, 16 ni yr Apostolion diweddaf, fel rhai wedi eu bwrw i angeu, am ein gwneuthur ni yn ddrych i'r byd, ac i'r angelion, ac i ddynion.
b Pen. 3 10 [b] Nyni [ydym] ffyliaid er mwyn Crist, a chwithau
18 Act. 18, 18 yn ddoethion yng-Hrist, nyni yn weiniaid, a chwithau yn gryfion, chwy-chwi yn anrhydeddus, a ninnau yn ddirmygus.
c Act. 9, 16 11 [c] Hyd yr awr hon yr ydym ni yn dwyn newyn a
Heb. 11 sysched, ac yr ydym ni yn noethion, ac yn cael cernod-
37 iau, ac yn gyrwydrus.
d Act. 18, 12 [d] Ac yr ydym yn llafurio gan weithio â'n dwylo
3 2 Thes. 3 ein hunain, pan i'n difenwir yr ydym yn bendithio,
8 e Galar. 3 pan i'n herlidir yr ydym yn dioddef.
45 13 [e] Pan i'n ceblir yr ydym yn gweddio, fel yscubion
Act. 22, y byd y gwnaethpwyd ni, [a] sorod pob dim hyd yn
22 hyn.
14 Nid wyf fi yn scrifennu hyn i'ch gwradwyddo chwi, ond i'ch rhybuddio yr wyf fel fy mhlant annwyl.
15 Canys pe bydde i chwi ddeng-mil o athrawon yng-Hrist, er hynny nid oes nemmawr o dadau: canys myfi a'ch cenhedlais yng-Hrist Iesu trwy yr Efengyl.
16 Am hynny yr wyf yn attolwg i chwi: byddwch ddilynwyr i mi.
f 1Tim. 3 17 [f] O blegit hyn yr anfonais attoch Timotheus yr
2 Rhuf. 16 hwn yw fy annwyl fab ffyddlawn yn yr Arglwydd, yr
3 hwn a goffa i chwi fy ffyrdd i yng-Hrist, megis yr wyf ym mhob man yn athrawiaethu yn yr eglwysydd oll.
18 [g] Y mae rhai wedi chwyddo megis na ddelwn i g 2Cor. 13
mwy attoch, 10. a 13,2
19 Eithr mi a ddeuaf attoch ar fyrder, os ewyllysia yr Arglwydd, ac a fynnaf wybod nid [yn unic] eiriau y rhai sy yn chwyddo eithr [eu] gallu,
20 Canys nid yw teyrnas Dduw mewn gair, eithr mewn gallu.
21 [h] Beth a ewyllysiwch? ai â gwialen y deuaf attoch, h 2Cor. 10
ynte â chariad, ac yspryd addfwynder. 6

## PEN. V.

*Am losc-ach, sef godineb o fewn cyfagos achau, ac am escymmundod. 8 Am gyfeillach â rhai drwg.*

MAE [i] y gair yn hollawl, fod yn eich plith odineb, i Sal. 93, 5
a chyfryw odineb, ac na henwir unwaith ym Rhuf. 1
mysc y cenhedloedd: [sef] cael o un wraig ei dad. 24
2 Ac yr ydych chwi wedi ymchwyddo, ac ni alarasoch yn hytrach, fel y tynnid o'ch mysc chwi y neb a wnaeth y weithred hon.
3 Canys myfi yn ddiau fel absennol yn y corph etto yn bresennol yn yr yspryd, a fernais fel pe byddwn bresennol am yr hwn a wnaeth y peth hyn,
4 [j] Gwedi i chwi ymgynnull, a'm hyspryd inne, yn j Mat. 18
enw ein Harglwydd Iesu Grist, gyd ag awdurdod ein 17
Harglwydd Iesu Grist,
5 [k] Ddodi y fath ddyn i Satan, er dinystr ar y cnawd, k 1Tim. 1
fel y byddo yr yspryd yn gadwedig yn nydd yr Argl- 20
wydd Iesu. 2Cor. 10, 4
6 [l] Nid da yw eich gorfoledd: oni wyddoch y sura l Eph. 4
ychydig lefain yr holl does? 22 Heb. 9, 20
7 Am hynn yglanheuwch yr hen lefain, fel y byddoch chwi does newydd, megis yr ydych ddilefeinllyd: canys Crist ein Pasc ni a aberthwyd trosom ni.
8 [m] Am hynny cadwn wyl, nid â'r hen lefain, na lef- m Ecs. 12
ain drygioni, ac anwiredd, ond â bara croiw purdeb a 15
gwirionedd.
9 [n] Mi a scrifennais attoch mewn llythyr, nad ym- n Eph. 5
gymmyscech â godinebwyr: 11 2Cor. 6, 14
10 [o] Ac nid yn hollawl â godinebwyr y byd hwn, neu o Ioan 15
â'r cybyddion, neu â'r cribddeil-wyr, neu ag eulyn 16 1 Ioan 5
addolwyr, pe felly rhaid fydde i chwi fyned allan o'r 19
byd:
11 [p] Ond yn awr mi a scrifennais attoch na wneloch p Mat. 18
ymgyfeillach: os bydd neb a henwir yn frawd yn od- 15
ineb-wr, neu yn feddw, neu yn eulyn addolwr, neu 2 Thes. 3
yn gabl-wr, neu yn feddw, neu yn gribddeiliwr, gyd 14
â'r cyfryw un ni [ddylech] fwyta:
12 Canys beth sydd i mi a farnwyf ar y rhai sy oddi allan? onid y rhai sy i mewn yr ydych chwi yn eu barnu?
13 Eithr Duw sydd yn barnu y rhai oddi allan, bwriwch ymmaith gan hynny o'ch plith [y dyn] drygionus hwn.

## PEN. VI.

*Paul yn cerryddu y Cristianogion y rhai oeddynt yn ymgyfreithio o flaen yr ang-hristianogion. 12 Am rydd-did Cristianogion, 16 ac am wasanaeth Duw.*

A [q] FEIDDIA un o honoch yr hwn y mae iddo fat- q Neh. 5, 9
ter ar y llall, ymgyfreithio o flaen y rhai anghyf- Ioan 16, 2
iawn, ac nid yn hytrach o flaen y saint?
2 [r] Oni wyddoch chwi y barna y saint y byd? os r Dan. 7
trwoch chwi y bernir y byd, ai anaddas ydych chwi i 25 Sal. 49, 14
farnu y pethau lleiaf? Dat. 3, 21
3 [s] Oni wyddoch chwi y barnwn ni yr angelion, ac s 2Pedr 2
oni [farnwn ni] bethau bydol? 4

4 Os oes gennwch gan hynny farnau bydol, dodwch
ar y faingc y rhai gwaelaf yn yr eglwys.
5 Er cywilydd i chwi yr ydwyf yn dywedyd wrthych,
Onid oes un gwr doeth yn eich plith? nac un a fedro
farnu rhwng [un] a'i frawd?
6 Ond bod y brawd yn ymgyfreithio â'r brawd, a
hynny ger bron y rhai anghredadwy.
tRhuf.12 7 t Am hynny y mae diffyg mawr yn eich plith gan
19 eich bod yn ymgyfreithio â'i gilydd, pa ham yn gynt,
nad ydych chwi yn dioddef cam? pa ham nad ydych
u1Thes.4 yn gynt yn cymmeryd colled?
6 8 u Eithr chwy-chwi sydd yn gwneuthur cam, ac yn
v Dat. 21 gwneuthur colled, a hynny i'r brodyr.
27 9 v Oni wyddoch chwi, na chaiff y rhai anghyfiawn
etifeddu teyrnas Dduw? Na thwyller chwi: ni chaiff
na godinebwyr, nac eulyn addolwyr, na thorwyr pri-
odas, na drythyll-wyr, na'r rhai Sodomiaidd,
10 Na lladron, na chybyddion, na meddwon, na
difen-wyr, na chribddeil-wyr feddiannu teyrnas Dduw.
wRhuf.1
29 11 w A hyn fu rhai o honoch chwi, eithr yr ydych
Eph.5,26 chwi wedi eich golchi, eithr wedi eich sancteiddio,
Pen.1,30 eithr wedi eich cyfiawnhau yn enw yr Arglwydd Iesu,
a thrwy Ysbryd ein Duw ni.
xRhuf.15 12 x Pob peth sydd gyfreithlon i mi, ond nid yw pob
2
Rhuf. 14 peth yn lles-hau, pob peth sydd gyfreithlon i mi, ond
14 ni byddaf fi gaeth i ddim.
yMat.22
30 13 y Y bwyd i'r bol, a'r bol i'r bwyd, a Duw a ddin-
1 Thes. 5 istria bob un o'r ddau, ac nid yw y corph i odineb,
23 ond i'r Arglwydd, a'r Arglwydd i'r corph.
14 Canys Duw a gyfododd yr Arglwydd, ac a'n cyfyd
ninnau trwy ei nerth ef.
z Dat. 17 15 z Oni wyddoch chwi fod eich cyrph yn aelodau
8 Crist? gan hynny a gymmeraf fi aelodau Crist a'u
gwneuthur yn aelodau puttain? na atto Duw.
a Hos. 4 16 a Oni wyddoch chwi fod yr hwn sydd yn cydio â
17
Gen.2,24 phuttain yn un corph? canys y ddau (eb efe) fyddant
un cnawd:
17 Ond yr hwn a gysylltir â'r Arglwydd un yspryd
yw.
18 Gochelwch odineb, pob pechod a wnelo dyn, oddi
allan ei gorph y mae: ond yr hwn a wna odineb, sydd
b Rhuf. 8 yn pechu yn erbyn ei gorph ei hun.
21 19 b Oni wyddoch chwi fod eich corph yn deml i'r
Yspryt Glân ynoch, yr hwn yr ydych yn ei gael gan
Dduw, ac nad ydych yn eiddoch chwi eich hunain?
c1Pedr1
18 20 c Canys er gwerth y prynwyd chwi: gan hynny
gogoneddwch Dduw yn eich corph, ac yn eich yspryd
y rhai ydynt eiddo Duw.

## PEN. VII.

*Y mae Sanct Paul yn y bennod ymma oll, yn atteb i'r Cor-
inthiaid yng-hylch priodas, ac yn dangos pa les, a pha afles
y mae priodas yn ei beri.*

d Mat. 19
11 AC d am y pethau yr scrifennasoch attaf: da i ddyn
Heb.13,4 na chyffyrdde â gwraig.
Gen.20,6
e mat. 15 2 e Ond rhag godineb cymmered pob dyn ei wraig
19 ei hun, a phob [gwraig] ei gwr ei hun.
Diar.5,17 3 Rhodded y gwr i'r wraig ddyledus ewyllys da, a'r
un wedd y wraig i'r gwr.
4 Nid oes i'r wraig feddiant ar ei chorph ei hun ond
i'r gwr: ac yr un-ffunyd nid oes i'r gwr feddiant ar ei
gorph ei hun, ond i'r wraig.
f Mat. 19 5 f Na siommwch ei gilydd, oni bydd peth trwy gyd-
1 undeb tros amser, i gael hamdden i ymprydio, ac i
weddio: ac eil-waith deuwch yng-hyd rhag i Satan
eich temptio, o blegit eich anlladrwydd.

6 g A hyn yr wyf yn ei ddywedyd o ymgeledd nid o g Act. 15
orchymyn. 10
7 Canys mynnwn fod pawb fel [yr wyf] finne, eithr
y mae i bawb ei ddawn ei hun gan Dduw, i un fel hyn,
i arall modd arall.
8 Dywedyd yr wyf wrth y rhai heb eu priodi, a'r
gweddwon, mai da iddynt pes arhoent megis fy-fi.
9 Eithr oni allant ymgynnal, priodant, canys gwell
yw priodi nag ymlosci.
10 h Ac am y rhai sy wedi eu clymmu trwy briodas h Mat. 5
nid myfi sydd yn gorchymyn, ond yr Arglwydd, nac 32. a 19, 5
ymadawed y wraig oddi wrth ei gwr.
11 Ac os ymedu hi, arhoed heb priodi, neu cymmod-
er hi â'i gwr: ac na ollynged y gwr ei wraig ymmaith.
12 i Ac wrth y llall dywedyd yr wyfi, ac nid yr Ar- i Pen.1, 1
glwydd: os bydd i un brawd wraig anghredadwy, na 2 Pedr 1
wrthoded efe mo honi hi, a hithau yn fodlon i aros 21
gyd ag ef.
13 A'r wraig, yr hon y mae iddi wr heb gredu, ac
yntef yn fodlon i aros gyd â hi, na wrthoded hi ef.
14 j Canys y gwr di-gred a sancteiddir trwy y wraig, j Tit.1, 15
a'r wraig ddi-gred a sancteiddir trwy y gwr: pe am- 1Tim.4,3
4
gen aflan yn ddiau fydde eich plant, eithr yn awr Eph.2, 12
sanctaidd ydynt.
15 Eithr os yr anghredadyn a ymedu, ymadawed,
nid yw y brawd neu y chwaer gaeth yn y cyfryw
[bethau,] eithr Duw a'n galwodd ni mewn heddwch.
16 O herwydd beth a wyddost ti (O wraig) a gedwi
di dy wr? a pheth a wyddost ti (O wr) a gedwi di dy
wraig?
17 k Ond megis y darfu i Dduw rannu i bawb, megis k Pen. 12
y darfu i'r Arglwydd alw pawb, felly rhodied, ac fel 8
hyn yr wyf fi yn ordeinio yn yr eglwysi oll. Eph 5, 15
18 Os galwyd neb wedi ei enwaedu: nac ad-geisied
[ddienwaediad:] os galwyd neb mewn dienwaediad?
nac enwaeder arno.
19 l Enwaediad nid yw ddim, a dienwaediad nid yw l Rhuf. 2
ddim, ond cadwedigaeth gorchymynnion Duw. 25, 29
1Ioan 2,3
20 m Arhosed pob un yn yr alwedigaeth i'r hon y m2 Thes
galwyd ef. 3, 12
1 Thes. 4
21 Ai yn was i'th alwyd? na fydded gwaeth gennit, 11
etto os gelli gael bod yn rhydd, mwynha [hynny] yn
hytrach.
22 n Canys y neb a alwyd yn was yn yr Arglwydd, n Ioan 8
sydd rydd i'r Arglwydd: hefyd yr hwn a alwyd 34
yn rhydd, gwas yw i Grist.
23 Er gwerth i'ch prynwyd, na fyddwch weision
dynion.
24 Y brodyr, arhosed pob dyn yn y [cyflwr] y galw-
yd ef gydâ Duw.
25 o Tu ag at am weryfon, nid oes gennif un gorch- o Mat. 19
12
ymyn gan yr Arglwydd: eithr yr ydwyf yn rhoddi 1Tim.1,1
cyngor, fel un a gafas drugaredd gan yr Arglwydd i
fod yn ffyddlon.
26 Am hynny tybied yr wyf mai da ydyw, [ie] mai
da ydyw tros yr angenrhaid presennol, i ddyn fod
felly.
27 A wyt ti yn rhwym i wraig? na chais dy ollwng
yn rhydd, a wyt ti yn rhydd oddiwrth wraig? na chais
wraig.
28 p Hefyd os priodaist, ni phechaist, ac os prioda p Heb. 13
gweryf, ni phechodd: er hynny y cyfryw a gant flin- 4
der yn y cnawd, eithr yr wyf yn eich arbed chwi. Gen. 26
35
29 Dywedyd yr wyfi hyn frodyr, am fod yr amser
yn fyrr, y mae yn ol fod y rhai sy a gwragedd iddynt

megis pe byddent hebddynt,
q Mat. 6 6 30 q A'r rhai a wylant megis heb wylo, a'r rhai a la-
wenhant fel heb lawenhau, a'r rhai a brynant fel heb
feddu,
r Preg. 1 2 31 r A'r rhai a arferant y byd hwn, megis heb ei gam-
arfer: canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio.
s Mat. 6 25 32 s Eithr mynnwn eich bod yn ddiofal, yr hwn sydd
heb priodi sydd yn gofalu am bethau yr Arglwydd:
pa wedd y gall fodloni yr Arglwydd:
33 Ond y neb a wreicâodd sydd yn gofalu am bethau
y byd, pa wedd y bodlona ei wraig.
t 1 Thes. 5 23 34 t Y mae gwahaniaeth hefyd rhwng gwraig [gwr]
a morwyn, y mae yr hon sydd heb briodi yn gofalu
am y pethau sydd yn perthyn i'r Arglwydd, fel y byddo
hi sanctaidd mewn corph, ac yspryd, ac y mae yr hon
sydd wedi priodi yn gofalu am bethau bydol, pa fodd
y rhynga hi fodd i'r gwr.
u Act. 15 10 35 u Hyn yr wyf yn ei ddywedyd er llesâd i chwi,
Luc 2,37 nid i fwrw o honof fagl i chwi, eithr fel y glynoch yn
1,75 weddus, ac yn dda wrth yr Arglwydd yn ddiwahan.
36 Ond os bydd neb yn tybied fod yn beth anwedd-
aidd yn erbyn ei weryf, od aiff hi tros flodau ei hoed-
ran, a bod yn angenrhaid hynny, gwnaed a fynno, nid
yw yn pechu, priodant.
37 Ond yr hwn a safo yn sicer yn ei galon, ac yn
afraid iddo, ac a meddiant ganddo ar ei ewyllys ei hun,
ac a fwriadodd hyn yn ei galon, ar gadw o honaw ei
weryf, da y mae yn gwneuthur.
38 Ac am hynny, yr hwn sydd yn [ei] rhoddi yn briod
sydd yn gwneuthur yn dda, a'r hwn nid yw yn ei
rhoddi yn briod sydd yn gwneuthur yn well.
v Rhuf. 7 2 39 v Y mae gwraig yn rhwym trwy y gyfraith tra
fyddo byw ei gwr, ond o byddo marw ei gwr, y mae
hi yn rhydd i briodi y neb a fynno, yn unic yn yr Ar-
glwydd.
w 1 Ioan 4 1 40 w Eithr dedwyddach yw hi er hynny os erys hi
Act. 17,11 felly yn fy marn i, ac yr wyf fi yn tybied fod gennif Ys-
pryd Duw.

## PEN. VIII.

*Am aberth i'r eulynnod neu y gau-dduwiau, 9 Am gydwybod wan.*

x Dat. 2, 14 AC x am y pethau a offrymmer i eulynnod, ni a wy-
Ioan 7,48 ddom fod gan bawb o honom wybodaeth, gwy-
bodaeth sydd yn chwyddo, a chariad sydd yn ad-
eiladu.
2 Eithr os yw neb yn tybyed ei fod yn gwybod dim,
ni wyr efe etto ddim fel y dyle wybod.
y Ioan 10 14 3 y Ond od oes neb yn caru Duw, fe a adweinir hwn
ganddo ef.
z Eph. 4,6 4 z Am fwyta yr hyn a aberthir i eulynnod: ni a
wyddom nad yw eulyn ddim yn y byd, ac nad oes un
Duw onid un.
a Rhuf. 1 23 5 a Canys er bod rhai a elwir yn dduwiau, yn y nef,
ac yn y ddaiar (megis y mae duwiau lawer, ac argl-
wyddi lawer)
c Rhuf. 11 36 6 c Er hynny, nid oes i ni ond un Duw, [sef] y Tad,
Eph. 1,5 6 o ba un y mae pob peth, a ninnau ynddo ef: ac un Ar-
glwydd Iesu Grist, trwy yr hwn [y mae] pob peth, a
ninnau trwyddo ef.
d Rhuf. 14 23 7 d Ond nid yw yr wybodaeth [hon] gan bawb, canys
rhai a chanddynt gyd-wybod o'r eulyn hyd y pryd hyn,
sydd yn bwyta fel peth a aberthwyd i'r eulyn, ac felly
gan fod eu cydwybod yn wan yr halogir hi.
8 Eithr nid yw bwyd yn ein gwneuthur yn gymmer-
adwy gan Dduw, canys os bytawn nid ydym ni ddim
helaethach, ac onis bytawn, nid ydym ni ddim prin-
nach.
9 e Ond gochelwch rhag i'ch rhydd-did chwi fod yn e Gal. 5,13 Rhuf. 14
dramgwydd i'r rhai sydd weiniaid. 13
10 Canys os gwel neb dydi yr hwn wyt â gwybod-
aeth cennit yn eistedd i fwyta yn nheml yr eulynnod,
onid ydys yn cadarnhau ei gydwybod ef, ac yntef yn
wan, i fwyta y pethau a aberthwyd i eulynnod?
11 f Ac a ddifethir trwy dy wybodaeth di y brawd f 1 Pedr 1
gwan, tros yr hwn y bu Crist farw? 18
12 g Felly trwy bechu yn erbyn y brodyr, a chan guro g Mat. 24 49
eu gwan gydwybod hwynt, yr ydych chwi yn pechu Act. 9. 4
yn erbyn Crist.
13 Ac am hynny os fy mrawd a ymrwystra er bwyd,
ni fwytâf fi gig fyth, rhag i mi beri i'm brawd ym-
rwystro.

## PEN. IX.

*Y mae yn son am ei alwedigaeth ei hun, a'i frodyr yr apostolion, 7 Bod i'r gweinidog eglwysic gael ei fywyd wrth ei weinidogaeth, 16 Bod yn rhaid pregethu. 24 Dammeg o redeg gyrfa.*

ONID h wyfi yn apostl? onid wyfi yn rhydd? oni h Gal. 5,1
welais i Iesu Grist ein Arglwydd: onid fyng- Act. 9, 17
waith i ydych chwi yn yr Arglwydd?
2 i Pe byddwn i heb fod yn apostl i eraill, etto yr wyfi i 2 Cor. 12
i chwi: canys sêl fy apostoliaeth i ydych yn yr Argl- 12
wydd.
3 Fy atteb i i'r rhai a'm holant, yw hyn: j Jer. 22,
4 j Onid oes i ni awdurdod i fwyta ac i yfed? 15
5 Onid oes i ni awdurdod i arwain o amgylch wraig [a
fydde] chwaer, fel yr apostolion eraill, a brodyr yr Ar-
glwydd, a Chephas? k Act. 20
6 k Ai myfi yn unic a Barnabas sy heb fod gennym 34
rydd-did na weithiom?
7 l Pwy er ioed a ryfelodd ar ei draul ei hun? pwy l 2 Cor. 10 4
sydd yn plannu gwinllan, ac heb fwyta o'i ffrwyth hi?
neu pwy sydd yn porthi praidd, ac heb fwyta o laeth y
praidd?
8 Ai yn ddynol yr wyfi yn dywedyd hyn? onid
yw y ddeddf hefyd yn dywedyd hyn? m Deut 25, 4
9 m Canys scrifennedic yw yn neddf Moses, Na rwym
safn yr ych yr hwn sydd yn dyrnu, ai tros ychen y
mae Duw yn gofalu? n Rhuf. 15 4
10 n Ai ynte yn hollawl er ein mwyn ni, y mae efe Mat. 10,10
yn dywedyd hyn? er ein mwyn ni yn ddiau yr scrif-
ennwyd, y dyle yr ardd-wr aredig mewn gobaith, ac
y bydd yr hwn sydd yn dyrnu tann obaith, yn gyfran-
nog o'i obaith. o Rhuf. 15 27
11 o Os hauasom i chwi bethau ysprydol, ai mawr yw, Act. 18,11
os nyni a fedwn eich pethau cnawdol? p 2 Cor. 11 15
12 p Os yw eraill yn cael awdurdod arnoch, oni [ddyl- 1 Thes. 2
em] ni yn hytrach? er hynny nid arferasom ni mo'r 9
awdurdod hon: ond goddef yr ydym bob peth, rhag i
ni roddi dim rhwystr i Efengyl Crist. q Num. 18
13 q Oni wyddoch chwi fod y rhai sy yn gwneuthur 20
pethau cyssygredic, yn bwyta [pethau] o'r cyssegr: ac Deut. 18 9
y mae y rhai sy yn gwasanaethu yr allor, yn gyfran- r Zec. 11 17
nogion o'r allor? 2 Thes. 3
14 r Yr un wedd yr ordeiniodd yr Arglwydd, i'r rhai 10
a bregethant yr Efengyl, fyw wrth yr Efengyl. Heb. 7,13 s 2 Cor. 11
15 s Ond nid arferais i ddim o hyn: ac nid scrifennais y 8
pethau hyn, i gael gwneuthur hyn i mi? canys gwell fy- 2 Cor. 12 16. 13
dde i mi farw na gwneuthur o neb fyng-orfoledd yn ofer. t Luc 17 10
16 t O blegit os pregethaf, nid oes i mi [achos] i or- Mat. 24
foleddu, o herwydd angenrhaid yw i mi, a gwae fyfi 48

oni phregethaf.
uRhuf.12 11 17 [u] Canys os gwnaf i hyn o'm bodd, y mae i mi
wobr : ond os o'm hanfodd, ymddyriedwyd i mi am
orchwyl.
vRhuf. 3 27. a 4, 2 18 [v] Pa wobr sydd i mi gan hynny? [cael] pan breg-
ethwyf osod o honof Efengyl Crist yn rhad, fel na
cham-arferwyf fy awdurdod yn yr Efengyl.
19 Canys er fy mod yn rhydd oddi wrth bawb, mi
a'm gwneuthym fy hun yn weinidog i bawb, fel yr
ennillwn fwy.
20 Ac i'r Iddewon mi a aethym fel Iddew i ennill yr
Iddewon, i'r rhai sy tann y ddeddf, fel [un] tann y
ddeddf, fel yr ennillwn y rhai sy tann y ddeddf:
wRhuf.2 12 21 [w] I'r rhai di-ddeddf, fel [un] di-ddeddf (a minne
heb fod yn ddi-ddeddf i Dduw, ond tann y ddeddf i
Grist) fel yr ennillwn y rhai di-ddeddf.
22 I'r rhai gweiniaid yr aethym yn wann, fel yr en-
nillwn y gweiniaid: mi a ymwnaethym yn bob peth i
bawb, fel y gallwn yn hollawl gadw rhai.
23 A hyn yr wyfi yn ei wneuthur er mwyn yr Ef-
engyl: fel i'm gwneler yn gyfrannog o honi.
x Luc 13 24 24 [x] Oni wyddoch chwi am y rhai sy yn rhedeg mewn
Dat.2. 10 gyrfa, fod pawb yn rhedeg, ond bod un yn myned a'r
gamp? felly rhedwch fel yr ennilloch.
yCol.4.12 1 Pedr 1 4 25 [y] Hefyd y mae pob un a ymdrecho am gamp, yn
ymgadw rhag pob dim, ac hwynt oll er mwyn cael
coron ddarfodedic, a ninnau un annarfodedic.
26 Am hynny yr wyfi felly yn rhedeg, nid ar amcan,
felly yr wyf yn ymdrechu, nid fel un yn curo yr awyr.
zRhuf. 7 18 Luc 2,23 27 [z] Ond yr wyfi yn cospi fyng-horph, ac yn ei ddar-
aMat. 7, 22 ostwng i wasanaeth, rhag mewn un modd wedi i mi
bregethu i eraill, fy mod fy hunan yn anghymmeradwy.

PEN. X.

*Y mae efe gan eu hofni hwynt â siamplau eu henafiaid gynt, 14 Yn eu hannog i ochelud gau-dduwiaeth, 23 A rhoddi rhwystr neu dramgwydd.*

HEFYD [b] frodyr ni fynnwn na's gwyddech fod ein
b Ecs. 13 21 tadau tann y cwmwl a'u myned oll trwy y môr,
c1Pedr 3 21 2 [c] A'u bedyddio hwy oll i Moses yn y cwmwl a'r
môr:
Ecs.14,30 3 A bwyta o bawb yr un bwyd ysprydol,
d Num. 20. 8. 11 4 [d] Ac yfed o bawb yr un ddiod ysprydol (canys hwy
Sal.105,41 a yfasant o'r graig ysprydol a oedd yn canlyn a'r graig
oedd Crist)
5 Eithr ni bu fodlon gan Dduw y rhan fwyaf o hon-
ynt: canys cwympwyd hwynt yn y diffaethwch.
e Phil. 3 17 6 [e] A hyn a wnaed yn siampl i ni, fel na chwennych-
Sal.106 14 em ddrygioni, fel y chwennychasant hwy.
f Ecs. 32, 6 7 [f] Na fyddwch chwithau addol-wyr eulyn-nod, fel
rhai o honynt hwy, megis y mae yn scrifennedic, Eis-
teddodd y bobl i fwyta, ac i yfed, ac a gyfodasant i
chwareu.
Num. 25, 1 8 [g] Ac na odinebwn ni, fel y godinebodd rhai o ho-
nynt hwy, ac y syrthiodd yn un dydd dair mil ar hug-
ain.
Ecs. 14 9 [h] Ac na themtiwn Grist megis y temtiodd rhai o
Num. 21 honynt hwy, ac eu destruwiwyd gan seirph.
Num.11 10 Ac na rwgnechwch megis y grwgnachodd rhai o
honynt hwy, ac eu destruwiwyd gan y dinistrydd.
11 A'r pethau hyn oll a ddigwyddasant yn siampl
Luc 22 iddynt hwy, ac a scrifennwyd yn rhybudd i ninnau,
Eph.6,11 ar ba rai y daeth terfynau yr oesoedd.
1 Thes.3 12 j Am hynny yr hwn sydd yn tybied ei fod yn sefyll,
a.27, 8 edryched na syrthio.
an 16 13 [k] Nid ymaflodd ynoch demtasiwn, onid un dynol,
eithr ffyddlon yw Duw yr hwn ni ad eich temtio uwch-
law yr hyn a alloch, eithr gyd â'r temptasiwn y gwna
efe ddiangfa fel y galloch ei ddwyn.
14 Am hynny fy annwylyd gochelwch addoliad eu-
lynod.
15 [l] Dywedyd yr wyf fel wrth rai pwyllog : bernwch 1Mat.139
chwi beth yr wyf fi yn ei ddywedyd.
16 Phiol y fendith yr hon a fendigwn, onid cymmun
gwaed Crist yw? y bara yr hwn a dorrwn, onid cym-
mun corph Crist yw?
17 [m] O blegit nyni yn llawer ydym un bara [ac] un mPen. 12
corph, canys yr ydym ni oll yn gyfrannogion o'r un 12
bara.
18 Edrychwch ar Israel yr hwn sydd o herwydd y
cnawd, onid yw y rhai sy yn bwyta yr ebyrth yn gyf-
rannogion o'r allor?
19 [n] Beth yr ydwyf yn ei ddywedyd wrth hyny? ai nPen.8,4
bod yr eulyn yn ddim, neu'r peth a aberthwyd i'r eu-
lyn yn ddim?
20 [o] Ond y pethau y mae y cenhedloedd yn eu ha- o2 Cron. 11, 15
berthu i'r cythreuliaid y maent yn eu haberthu, ac nid
i Dduw: ni fynnwn i chwi fod yn gyfrannogion o'r
cythreuliaid.
21 [p] Ni ellwch yfed o phiol yr Arglwydd, a phiol y p Mat. 6 24
cythreuliaid: ni ellwch fod yn gyfrannogion o fwrdd
yr Arglwydd, a bord y cythreuliaid.
22 [q] A ydym ni yn annog yr Arglwydd i ddig? a q Ecs. 20 5
ydym ni yn gadarnach nag ef? Ioan 9, 4
23 [r] Pob peth sydd gyfreithlawn i mi eithr nid yw rRhuf.15 2
pob peth yn gwneuthur llesâd: pob peth sydd gyf-
reithlon i mi, eithr nid yw pob peth yn adeiladu.
24 [s] Na cheisied neb ei fudd ei hun: ond pawb yr sPhil.2.4
eiddo arall.
25 [t] Beth bynnag a werthir yn y gigfa bwytewch tRhuf. 14 2
heb ofyn dim er mwyn cydwybod.
26 [u] Canys yr Arglwydd piau y ddaiar a'i chyflawn- uSal.24,1 Deut. 10 14
der oll.
27 Os bydd i neb o'r anffyddlonion eich gwahodd,
a chwi yn myned, bwytewch beth bynnag a rodder ger
eich bron, heb ymofyn dim er cydwybod.
28 Eithr os dywed neb wrthych, Peth wedi ei off-
rymmu i eulyn yw hwn, na fwyta er mwyn y neb a
ddangosodd, ac er mwyn cydwybod : canys yr Ar-
glwydd piau y ddaiar a'i chyflawnder.
29 Cydwybod meddaf nid yr eiddo ti, ond arall: ca-
nys pa ham y bernir fy rhydd-did i gan gydwybod
arall?
30 [v] Ac os myfi trwy ddiolch a gymmeraf gyfran, vTit.2,11
pa ham i'm ceblir am y peth yr wyf yn ddiolchgar.
31 [w] Am hynny pa un bynnag a wneloch ai bwyta, ai w Col. 3 14
yfed, ai peth arall, gwnewch bob peth er gogoniant i
Dduw.
32 [x] Byddwch ddiachos tramgwydd i'r Iddewon, ac i'r x Phil. 1 10
cenhedloedd, ac i eglwys Dduw:
33 Megis yr wyfi yn rhyngu bodd i bawb ym mhob
peth, heb geisio fy llesâd fy hunan, ond llesâd llawer-
oedd, fel y byddant gadwedig.

PEN. XI.

*Beiau y Corinthiaid wrth weddio, pregethu, a dyfod i swpper yr Arglwydd: 23 Ordeinhad cyntaf y swpper hwn.*

BYDDWCH [y] ddilynwyr i mi, megis yr wyfi i Grist. yMat 23, 9
2 Eich clodfori yr wyf (frodyr) o herwydd i
chwi gofio fy holl [athrawiaeth] a chadw y traddod-
iadau fel y traddodais i chwi. z Eph. 1 20
3 [z] Hefyd mi a ewyllyswn i chwi wybod fod Crist yn 1Tim.2,5

ben pob gwr, a'r gwr yn ben i'r wraig, a Duw yn ben
i Grist.
a1Bren.8 62 4 [a] Pob gwr yn gweddio neu yn prophwydo a gwisc
Pen.14, 3 am ei ben, sydd yn amherchi ei ben.
Phil 4, 8 5 Eithr pob gwraig yn gweddio neu yn prophwydo
yn bennoeth, sydd yn anmherchi ei phen: canys un
wedd yw, a phe bydde wedi ei heillio.
6 Canys oni wisc gwraig am ei phen cneifier hi, ac os
brwnt i wraig ei chneifio, neu ei heillio, gwisced.
bSal. 8, 6 7 [b] Canys ni ddyle gwr wisco am ei ben am ei fod yn
ddelw a gogonedd Duw, a'r wraig yw gogoniant ei
gwr.
8 Canys nid yw y gwr o'r wraig, eithr y wraig sydd
o'r gwr.
9 Ac ni wnaed y gwr er mwyn y wraig, eithr y wraig
er mwyn y gwr.
e1Pedr 1 12 10 [c] Am hynny y dyle y wraig fod ganddi awdurdod
ar ei phen er mwyn yr angelion.
11 Er hynny nid [yw] y gwr heb y wraig, na'r wraig
heb y gwr yn yr Arglwydd.
d Rhuf. 11, 36 12 [d] Canys un wedd ac [y mae] y wraig o'r gwr, felly
[y mae] y gwr drwy y wraig a phob peth [sydd] o
Dduw.
e Pen. 10 15 13 [e] Bernwch ynoch eich hunain, ai hardd yw i
wraig weddio Duw yn bennoeth?
f Rhuf. 1 26 14 [f] Ond yw naturiaeth yn dyscu hyn i chwi, os
gwalltlaes a fydd gwr mai anhardd yw iddo.
15 Ac o'r gwrthwyneb, gogonedd yw i wraig fod yn
wallt-laes: canys ei gwallt a ddodwyd yn orchgudd
iddi.
g1Tim. 1 6, 7 16 [g] Od oes neb a fyn fod yn ymrysongar, nid oes
gennym ni gyfryw ddefod, na chan eglwysi Duw.
hPen.5, 4 17 [h] Hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd heb eich canmol,
Preg.5, 1 eich bod yn ymgynnull nid i wellhau ond i waethygu.
i Heb. 10 25 18 [i] Canys yn gyntaf pann ymgynhulloch yn yr eg-
lwys, yr ydwyf yn clywed fod anghydfod yn eich
mysc chwi, ac o ran yr wyfi yn credu.
j2Pedr 2 1 19 [j] O herwydd rhaid yw bod yn eich mysc traws-
1 Ioan 2 opinionau, megis y byddo yn eglur y rhai cymmerad-
19 wy yn eich plith chwi.
20 Am hynny pan ddeloch yng-hyd, ni cheir bwytta
swpper yr Arglwydd.
k Iago 2 8 21 [k] Canys pawb a fwyttu ei swpper ei hun o'r blaen,
ac un sydd a newyn arno, ac arall sydd yn feddw.
l Pen. 10 38 22 [l] Onid oes gennych dai i fwytta ac i yfed ynddynt?
ai dirmygu yr ydych chwi eglwys Dduw? ac a ydych
chwi yn gwradwyddo y rhai nid oes ganddynt? pa
beth a ddywedaf wrthych? a ganmolaf i chwi yn hyn?
na chanmolaf.
m Mat 9 4, 8 23 [m] Canys gan yr Arglwydd y derbyniais y peth a
draddodais i chwi, bod i'r Arglwydd Iesu y nos y
bradychwyd ef, gymmeryd bara,
nMat. 26 26 24 [n] A chan ddiolch efe a'i torrodd, ac a ddywedodd,
Cymmerwch bwytewch hwn yw fyng-horph yr hwn a
dorrwyd drosoch, gwnewch hynn er coffa am danaf.
o Heb. 9 18 25 [o] A'r un modd [y cymmerodd efe] y cwppan
wedi swpper, gan ddywedyd, Y cwppan hwn yw 'r
Testament Newydd yn fyng-waed, gwnewch hynn
cynnifer gwaith bynnac yr yfoch er coffa am danaf.
p Heb. 9 18 26 [p] Canys cynifer gwaith bynnac y bwytaoch y bara
hwn, ac yr yfoch y cwppan hwn y dangoswch farwol-
aeth yr Arglwydd hyd oni ddelo.
qHeb. 11 6 27 [q] Am hynny pwy bynnac a fwytao y bara hwn,
ac a yfo gwppan yr Arglwydd yn anheilwng, euog
fydd o gorph a gwaed yr Arglwydd.

28 [r] Eithr profed dyn ei hun, ac felly bwytaed o'r r2Cor. 13 5
bara, ac yfed o'r cwppan.
29 [s] Canys yr hwn sydd yn bwytta, ac yn yfed yn sMat. 23
anheilwng, sydd yn bwyta, ac yn yfed barnedigaeth 14
iddo ei hun, am nad yw yn iawn farnu corph yr Ar-
glwydd.
30 O blegit hyn y mae llawer yn weiniaid ac yn llesc
yn eich mysc, a llawer yn huno.
31 [t] Canys pe iawn farnem ni ein hunain, ni'n bernid. tDat.3.17
32 [u] Eithr pan ein bernir ein cospir gan yr Arglwydd, uHeb. 12
rhag ein damnio gyd â'r byd. 6
33 Am hynny fy mrodyr, pan ddeloch yng-hyd i
fwytta, arhoswch eu gylydd.
34 Eithr os bydd newyn ar neb, bwytaed gartref,
rhag i chwi ymgasclu i farnedigaeth: ac am bethau
eraill mi a'u trefnaf pan ddelwyf.

## PEN. XII.

*Bod amryw ddoniau yn yr eglwys er llesâd cyffredinol fel y mae amryw aelodau yn y corph.*

EITHR [v] am ysprydol ddonniau (frodyr) ni fynnwn v Iago 1
i chwi na's gwyddech. 17
2 Chwi a wyddoch mai cenhedloedd oeddech, y rhai 1 Pedr 4 10
a ddygid at eulynnod mudion, fel eich tywysid.
3 [w] Am hynny yr wyf yn yspysu i chwi, nad oes neb w Eph. 6
yn llefaru trwy Yspryd Duw, yn galw yr Iesu yn es- 24 Mat.16,16
cymmun-beth: ac nad oes neb a all ddywedyd yr Ar- 17
glwydd Iesu, eithr yn yr Yspryd Glân.
4 Ac y mae amryw ddonniau, eithr yr un Yspryd.
5 [x] Ac y mae amryw weinidogaethau, eithr yr un Ar- x Eph. 4
glwydd. 11
6 Ac y mae amryw weithrediadau ond yr un Duw
sydd yn gweithredu pob peth ym mhawb.
7 [y] Eithr eglurhad yr Yspryd a roddir i bob un er y Mat. 5
lles-hâd. 14
8 [z] Sef i un y rhoddir trwy yr Yspryd ymadrodd a 25,14,15
doethineb, ac i arall ymadrodd gwybodaeth trwy yr z Pen. 9 22
un Yspryd. Mat. 13, 11
9 [a] Ac i arall ffydd trwy yr un Yspryd, ac i arall a Act. 14
donniau i iachau trwy yr un Yspryd. 8
10 [b] Ac i arall i wneuthur gwrthiau, i arall prophwyd- b Mat. 7
oliaeth, ac i arall iawn wahaniaeth ysprydoedd, ac i 22
arall amryw dafodau, ac i arall gyfieithiad tafodau.
11 [c] A'r holl bethau hyn a weithreda yr un rhyw Ys- cMat. 20
pryd can rannu i bob un ar nailldu megis yr ewyllysia 15
efe.
12 [d] Canys megis y mae un corph ac iddo lawer o dRhuf.12
aelodau, a holl aelodau un corph cyd baent lawer, yd- 5
ynt un corph, felly [y mae] Crist hefyd.
13 [e] O herwydd trwy yr un Yspryd i'n bedyddiwyd e Eph. 5
yn un corph, pa un bynnag ai Iddewon ai Groegwyr, 26
ai caethion, ai rhyddion, ac ni a wnaethbwyd i fod yn
yr un Yspryd.
14 [f] Canys nid yw y corph un aelod, eithr llawer, f Eph. 2,
15 O dywed y troed, can nad wyf y llaw, nid wyf o'r 14
corph, ai am hynny nid yw efe o'r corph?
16 Os dywed y glust, can nad wyf lygad, nid wyf o'r
corph, ai am hynny nid yw hi o'r corph?
17 Os yr holl gorph fydde lygad, pa le y bydde y
clywed? neu os y cwbl fydde clywed, pa le [y bydde]
yr arogliad?
18 [g] Eithr yr awr hon Duw a osododd yr aelodau, gSal. 139
pob un o honynt yn y corph wrth ei ewyllys ef, 15
19 Canys pe baent oll un aelod, pa le y bydde y
corph?
20 Yr awr hon y mae aelodau lawer, eithr un corph.

h Preg. 4 9, 10 21 h Ac ni all y llygad ddywedyd wrth y llaw,
Nid rhaid i mi wrthit, nac eil-waith y pen wrth y
traed, nid rhaid i mi wrthych:
22 Eithr yn fwy hytrach oll, yr aelodau hynny a
dybir eu bod yn waelaf, ydynt yn angenrheidiaf.
i Iago 2, 5 Sal. 40, 1 23 i A'r [aelodau] i'r corph y rhai a dybiwn yn
amharchedicaf y gosodwn fwy o barch yn eu cylch,
a'n haelodau anhardd sy â mwy harddwch ganddynt.
24 Sef afraid yw [hynny] i'n [haelodau] hardd ni,
eithr Duw a gyd-dymherodd y corph, gan roddi mwy
o barch i'r [lle] yr oedd yn ddeffygiol:
25 Rhag bod anghydfod yn y corph, eithr bod i'r
aelodau ofalu tros eu gilydd yr un peth.
j Heb. 13 3 Rhuf. 12 15 26 j Ac os doluria un aelod, yr holl aelodau a gyd-
ddoluriant, os anrhydeddir un aelod, yr holl aelodau
a gyd-lawenhânt.
k Eph. 1 21 27 k Ac chwi ydych yn gorph Crist, ac yn aelodau
mewn rhann.
l Luc 6 13 Rhuf. 12 7 1 Tim. 5 17 28 l A Duw a osododd rai yn yr eglwys, yn gyntaf
apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon,
yna y rhai a wnant wyrthiau, wedi hynny doniau i
iachau, cynhorthwy-wyr, llywodraeth-wyr, rhywiog-
aethau ieithoedd.
29 Ai apostolion pawb? ai prophwydi pawb? ai ath-
rawon pawb? a wna pawb wyrthiau?
30 A oes gan bawb donniau i iachau? a yw pawb
yn llefaru â thafodau? a yw pawb yn cyfieithu?
31 Eithr deisyfiwch y donniau goref, ac etto yr wyf
yn dangos i chwi ffordd dra rhagorol.

## PEN. XIII.

*Naturiaeth, grym, a mawl cariad perffaith.*

PE llefarwn â thafodau dynion, ac angelion, a mi
heb gariad gennif, yr wyf fel efydd yn seinio,
neu cymbal yn tingcian.
2 A phe bydde genif brophwydoliaeth, a gwybod o
honof y dirgelion oll, a phob gwybodaeth, a phe bae
gennif yr holl ffydd, fel y gallwn symmudo mynydd-
oedd, ac heb fod gennif gariad, nid wyf ddim.
m Luc 19 8 Sal 44, 22 Mat. 6, 2 3 m A phe porthwn y tlodion â'm holl dda, a phe
rhoddwn fyng-horph i'm llosci, a heb gariad gennif,
ni wnai [hyn] ddim llesâd i mi.
4 Cariad sydd ddioddefus, cariad sydd gymwynasgar,
cariad ni chenfigenna, cariad nid yw anhydyn, nid yw
yn ymchwyddo:
n Phil. 4 8 5 n Nid yw yn gwneuthur yn anweddaidd, nid yw
yn ceisio yr eiddi ei hunan, ni chythruddir, ni feddwl
ddrwg:
o 2 Sam. 24, 10 6 o Nid yw lawen am anghyfiawnder, onid cydla-
wenhau y mae â'r gwirionedd.
p Rhuf. 15 1 Phil. 1, 7 7 p Y mae yn goddef pob dim, yn credu pob dim, yn
gobeithio pob dim, yn ymaros â phob dim.
8 Cariad byth ni chwymp ymmaith, er pallu pro-
phwydoliaethau, a pheidio tafodau, a diflannu gwy-
bodaeth.
q Ioan 16 13 9 q Canys o rann y gwyddom, ac o rann yr ydym
yn prophwydo,
r Dat. 21 1 10 r Eithr pan ddelo yr hwn sydd berffaith, yna yr
hyn sydd o rann a ddeleuir.
11 Pan oeddwn yn fachgen, fel bachgen yr ymddi-
ddanwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen y medd-
yliwn: ond pan aethym yn wr, mi a rois heibio fach-
geneiddrwydd.
s 2 Cor. 3 18 1 Ioan 3 2 Phil. 3, 12 12 s Canys gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych
mewn dammeg, ac yna y gwelwn wyneb yn wyneb:
yn awr yr adwaen o ran, ond yna yr adnabyddaf megis
i'm hadwaenir.
13 t Yr awr hon y mae yn aros, ffydd, gobaith, a t 1 Pedr 4 8
chariad, y tri hyn, a'r mwyaf o'r rhai hyn yw cariad.

## PEN. XIV.

*Ynghylch traethu iaith anneallgar, a phrophwydo mewn iaith eglur, er llesâd i'r gynnulleidfa, a'r rhagoriaeth rhwng dieithr ieithoedd, a phrophwydoliaeth, 30 Trefn ynghylch pregethu.*

DILYNWCH u gariad, a deisyfiwch [ddoniau] ys- u 1 Pedr 1, 5, 8
prydol, ac yn fwyaf fel y prophwydoch. Rhuf. 12
2 v Canys yr hwn a lefaro â thafod [dieithr] nid 7
wrth ddynion y mae yn llefaru, onid wrth Dduw: v Rhuf. 15 2
canys nid oes neb yn gwrando, er hynny yn yr yspryd
y mae efe yn dywedyd dirgeledigaethau.
3 w Eithr yr hwn sydd yn prophwydo, sydd yn lle- w Rhuf. 12, 8
faru wrth ddynion er adailad, ac er cyngor a chyssur. Heb. 3, 13
4 x Yr hwn sydd yn llefaru mewn tafod [dieithr] x Mat. 18 18
sydd yn ei adailadu ei hunan, eithr yr hwn a bro-
phwydo sydd yn adailadu yr eglwys.
5 Mi a fynnwn pe llefareoch chwi oll â thafodau
[dieithr,] ond yn fwy pe prophwydech: canys mwy
yw yr hwn sydd yn prophwydo, nâ'r hwn sydd yn lle-
faru â thafodau, oddi eithr iddo [ei] gyfieithu, fel y
gallo y gynnulleidfa dderbyn adailadaeth.
6 y Ac yr awr hon frodyr, os deuaf attoch gan le- y 1 Tim. 3 6
faru amrafael dafodau, pa lesâd a wnaf i chwi, oni
ymddiddanaf â chwi trwy weledigaeth, neu trwy
wybodaeth, neu trwy brophwydoliaeth, neu trwy
athrawiaeth?
7 Hefyd pethau dianadl pan roddant sain, pa un
bynnac ai chwibanogl, ai telyn, oni roddant wahan-
iaeth yn y sain, pa wedd y gwyddir beth a genir ar y
chwibanogl, neu ar y delyn?
8 z Canys os yr udcorn a rydd lais anhynod, pwy a z Num. 10 2
ymbaratoa i ryfel?
9 a Felly chwithau oni ymddiddenwch trwy dafod- a Mat. 12 51
iaith gydnabyddus, pa wedd y deallir y peth a ddy-
wedir, canys chwi a fyddwch yn siarad i'r awyr?
10 Y mae cymmaint o leisiau (fel y digwydd) yn y
byd, ac nid oes un yn [aflafar.]
11 b Am hynny oni wn i rym y llais, myfi a fyddaf b Act 22 2
estron-iaithus i'r un a fyddo yn ymddiddan: a'r neb a Col. 3, 11
ymddiddano [a fydd] ddieithr-iaithus i minne.
12 A chwithau gan eich bod mewn awydd i ysprydol-
iaethau, ceisiwch ragori tu ag at adeiladaeth yr eg-
lwys.
13 c Am hynny gweddied y tafod-wr ar allu o honaw c Pen. 12 10
ef [ei] gyfieithu.
14 Os myfi a weddiaf â thafod, y mae fy yspryd yn
gweddio, ond y mae fy neall heb ffrwyth.
15 d Beth gan hynny yw'r [peth?] gweddiaf â'r ys- d Eph. 5 19
pryd, a gweddiaf â'r deall hefyd: canaf â'r yspryd, a Col 3, 19
chanaf â'r deall hefyd.
16 e Canys pan fendigech trwy yr Yspryd, pa wedd e Num. 6 23
y dywed yr hwn sydd yn lle yr annyscedic Amen, ar Neh. 8, 13
dy ddodiad diolch, gan nas gwyr beth a ddywedi?
17 Canys da yr wyt ti yn diolch, onid nid yw y llall
yn cael ei adailadu.
18 f Yr ydwyf yn diolch i'm Duw fy mod yn llefaru f Mat 6, 1 8
â thafodau [dieithr] yn fwy na chwi oll.
19 Ond er hynny gwell gennif ddywedyd yn yr eg-
lwys bump gair a'm deall, er mwyn dyscu eraill, na
dec mil o eiriau mewn tafod [dieithr.]
20 g O frodyr, na fyddwch fechgyn mewn deall, eithr g Heb. 5 12
mewn drygioni byddwch blant, ond mewn deall bydd- Phil. 3, 15

h Esa. 28 wch berffaith.
11
Jer. 5, 15 21 h Yn y ddeddf y mae yn scrifennedic, O herwydd
trwy rai o ddieithr dafodiaeth, ac â gwefusau estronol
yr ymddiddanaf â'r bobl hyn, ac er hynny ni'm gwrandawant
felly, medd yr Arglwydd.
i Joel 2, 22 i Am hynny tafodau ydynt yn arwydd nid i'r rhai
28
Esa. 39, 19 sy yn credu, ond i'r rhai anghredadwy: eithr prophwydoliaeth
nid i'r angredadwy, eithr i'r rhai sydd yn
credu.
j Act. 16 23 j Am hynny pan ddel yr eglwys yng-hyd oll, a
13. a 2, 12 phawb yn llefaru â thafodau, a dyfod i mewn rai an-
13 nyscedic neu anghredadwy, oni ddywedant mai ynfydu
yr ydych?
k Act. 18 24 k Eithr pe prophwyde pawb, a dyfod i mewn o
28
2 Tim. 3 anghredadyn ne annyscedic, efe a argyoeddid gan
16 bawb, [ac] a fernid gan bawb.
l Heb. 4, 25 l Ac felly yr amlygid dirgeloedd ei galon, ac felly
12
2 Cor. 2, y syrthie ar ei wyneb, ac yr addole Dduw, ac y dyw-
15 ede mai Duw sydd ynoch yn ddiau.
m Pen. 11 26 m Beth gan hynny yw [hyn] frodyr? pan ddeloch
7. 8, 9
Judas 20 yng-hyd, pob un sydd ganddo Psalm, sydd ganddo
Eph. 4, 10 athrawiaeth, sydd ganddo dafodiaeth, sydd ganddo
weledigaeth, sydd ganddo gyfieithiad, gwneler pob
peth er adailadaeth.
27 Os llefara neb â thafod [dieithr, gwneler] bob yn
ddau, neu o'r mwyaf [bob] yn dri, a [hynny] ar gylch,
n Sal. 139 a chyfieithed un.
2 28 n Oni bydd lladmerudd, tawed yn yr eglwys, dy-
o Act. 17 weded rhyngddo ac ef ei hun, ac â Duw.
11
29 o Llefared y prophwydi [bob yn] ddau neu dri, a
barned y llaill.
30 Ac os datguddir [dim i arall] yn eistedd [yno,]
tawed y cyntaf.
p Act 8, 4 31 p Canys chwi a ellwch oll brophwydo bob un ac
q Esa. 8 un, fel y dysco pawb, ac y cyssurer pawb.
20 32 q Ac ysprydoedd y prophwydi sy ddarostyngedic
Rhuf. 12 i'r prophwydi.
7
r Col. 2, 5 33 r Canys nid ydyw [Duw yn awdur] ymryson, eithr
tangneddyf: fel yn holl eglwysydd y sainct [yr ydwyf
yn dyscu.]
s 1 Tim. 2 34 s Tawed eich gwragedd yn yr eglwysi, am na
12 chanihadwyd iddynt lefaru, ond ymddarostwng, megis
ac y mae y gyfraith yn dywedyd.
t 1 Pedr 3 35 t Ac os mynnant ddyscu dim, ymofynant a'u gwyr
8 gartref, o blegit brwnt yw i wragedd lefaru yn yr eg-
lwys
36 Ai oddi wrthych chwi yr aeth gair Duw [allan?]
neu ai attoch chwi yn unic y daeth efe?
u Luc 10 37 u Os ydyw neb yn tybied ei fod yn brophwyd, ne
16 yn ysprydol, cydnabydded y pethau yr wyf yn eu
scrifennu attoch, eu bod yn orchymynnion yr Arglwydd.
38 Eithr od yw neb heb wybod, bydded heb wybod.
v Mat. 23 39 v Am hynny frodyr, byddwch awyddus i bro-
28 phwydo, ac na waherddwch lefaru â thafodau [dieithr.]
w Col. 3, 5 40 w Gwneler pob peth yn weddaidd, ac mewn trefn.

## PEN. XV.

*Ailgyfodiad y meirw, 4 Ailgyfodiad Crist, 21 Gorchfygiad angeu, 34 Dull yr ailgyfodiad cyffredin, 57 Diolch am ein goruchafiaeth ysprydol.*

x Act. 18 HEFYD x yr ydwyf yn yspysu i chwi (frodyr) yr
11 Efengyl yr hon a bregethais i chwi, yr hon he-
1 Thes. 1 fyd a dderbyniasoch, ac yn yr hon yr ydych yn sefyll,
5
Heb. 4, 2 2 y Trwy yr hon i'ch cedwir os ydych yn dal [yn eich
y Gal. 3, 4 cof] pa ymadrodd a bregethais i chwi, oddi eithr dar-
fod i chwi gredu yn ofer.
3 Canys yn gyntaf mi a draddodais i chwi yr hyn a
dderbyniais: farw o Grist tros ein pechodau, yn ol yr
scrythyrau,
4 z A'i gladdu ef, a'i gyfodi ef y trydydd dydd yn ol z Mat. 16
yr scrythyrau, 21
5 A'i weled ef gan Cephas, yna gan y deuddec. a Ioan 20
6 b Wedi hynny y gwelwyd ef gan fwy na phum-cant 24
brodyr [ar] un-waith, o ba rai y mae rhai yn aros hyd b Luc 24
yn hyn, eithr rhai a hunasant. 30
7 c Wedi hynny y gwelwyd gan Iacob, yna gan yr c Mat. 4
holl Apostolion. 21
8 d Ac yn ddiweddaf oll y gwelwyd gennif finne d Act. 9, 4
hefyd, fel un annymic. 1 Tim 1,
9 Canys myfi ydwyf y lleiaf o'r Apostolion, yr hwn 13
nid wyf addas i'm galw yn Apostol, am i mi erlid eg-
lwys Dduw.
10 Eithr trwy ras Duw yr wyf yr hyn ydwyf, a'i e Pen. 4, 7
ras ef yr hwn sydd ynof ni bu yn ofer, ond mi a lafur-
iais yn helaethach na hwynt oll, ac nid myfi chwaith,
ond gras Duw yr hwn sydd gyd â mi.
11 f Am hynny pa un bynnac, ai myfi, ai hwynt hwy, f Phil. 1
felly yr ydym yn pregethu, ac felly y credasoch chwi. 18
12 g Ac os pregethir cyfodi Crist o feirw, pa fodd y g 2 Tim. 2
dywed rhai o'ch plith chwi, nad oes adgyfodiad y 17
meirw.
13 h Canys onid oes adgyfodiad y meirw, ni chyfod- h Eph. 1
wyd Crist chwaith. 22
14 i Ac os Crist ni chyfodwyd, ofer yw ein pregeth i 1 Pedr 1
ni, ac ofer hefyd yw eich ffydd chwithau. 9
15 j Yna ein ceffir ni yn gaudystion yn erbyn Duw: j Act 10
canys tystiasom am Dduw, ddarfod iddo gyfodi Crist i 39
fynu, yr hwn nis cyfododd, oni chyfodir y meirw.
16 k Canys os y meirw ni chyfodir, Crist hefyd ni k Rhuf. 4
chyfodwyd. 9
17 l Ac os Crist ni chyfodwyd, ofer yw eich ffydd l Rhuf. 8
chwi: yr ydych [yn aros] etto yn eich pechodau. 11
18 Ac felly y rhai sy wedi huno yng-Hrist a gyfrgoll-
wyd.
19 m Os yn y byd ymma yn unic y gobeithiwn yng- m Heb.
Hrist, truanaf o'r holl ddynion ydym ni. 11, 23
20 n Eithr yn awr Crist a gyfodwyd o'r meirw, [ac] n Col. 1,
a wnaed yn flaenffrwyth y rhai a hunasant. 18
21 o O herwydd gan [fod] marwolaeth trwy ddyn, o Rhuf. 5
trwy ddyn hefyd y [mae] adgyfodiad y meirw. 12
22 p O blegit, megis yn Adda y mae pawb yn meirw, p Ioan 5
felly yng-Hrist y bywheir pawb. 28
23 Eithr pob un yn ei drefn ei hunan y blaenffrwyth Mat. 25
yw Crist, wedi hynny y rhai ydynt eiddo Crist yn ei 34
ddyfodiad ef.
24 q Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo efe y q Dan. 2
deyrnas i Dduw a'r Tad, wedi iddo ddeleu pob pen- 1
defigaeth, a phob awdurdod a nerth.
25 r Canys rhaid iddo deyrnasu oni ostyngo ei elyn- r 1 Tim 6
ion oll tann ei draed. 15
26 s Y gelyn diweddaf a ddinistrir fydd angeu. Dat 3, 21
27 t Canys efe a ddarostyngodd bob dim tann ei s Dat. 21
draed ef, eithr pan yw yn dywedyd ddarfod gostwng 4
pob peth [iddo ef,] y mae yn amlwg ei fod efe wedi ei t Heb. 2, 6
ddieithro, yr hwn a ddarostyngodd bob peth tano. Sal. 8, 6
28 u Ac wedi darostwng pob dim iddo, yna y Mab ei u 2 Pedr
hun hefyd a ddarostyngir i'r hwn a ddarostyngodd bob 3, 16
dim tano ef, fel y byddo Duw oll yn oll.
29 v Os amgen, beth a wna y rhai a fedyddir tros y Mat. 20
meirw, os y meirw ni chyfodir? a pha ham y bedydd- 22

ir hwynt tros y meirw?
30 A pha ham ein peryglir bob awr?
31 Yr wyf yn marw beunydd, gan eich gorfoledd yr
hon sydd gennif yng-Hrist Iesu ein Harglwydd.
w Act. 19 29 32 w Os yn ol dull dyn yr ymleddais ag anifeiliaid
Esa. 22 13 yn Ephesus, pa les-had sydd i mi oni chyfodir y mei-
rw? bwytawn ac yfwn, canys y foru ni a fyddwn feirw.
33 Na cham-gymmerwch, ymadroddion drwg a
lygrant foesau da.
x Tit. 2, 11 34 x Deffroiwch yn gyfiawn, ac na phechwch, canys
y mae rhai ni adwaenant Dduw: er cywilydd i chwi
yr wyf yn dywedyd [hyn.]
y Ioan 3 4 35 y Eithr rhyw un a ddywed, Pa fodd y cyfodir y
Mat. 22 29 meirw? â pha ryw gorph y deuant?
z Mat. 5 32 36 z Oh ynfed, y peth yr wyt ti yn ei hau, ni fyw-
heuir oni bydd efe marw.
37 A'r peth yr wyt yn ei hau: nid wyt yn hau y
corph a fydd, eithr y gronyn noeth, fel y digwyddo o
wenith, neu o ryw rawn eraill.
a Sal. 104 15, 16 38 a Eithr Duw a rydd iddo gorph, fel y byddo da
ganddo ef, ac i bob hedyn ei gorph ei hun.
39 Nid pob cnawd sydd un rhyw gnawd, eithr un
[cnawd sydd] i ddynion, arall i anifeiliaid, arall i bysc-
od, ac arall i adar.
b Gen. 1 17 40 b Y mae hefyd cyrph nefol, a chyrph daiarol, ond
arall yw gogoniant y rhai nefol, ac arall y rhai dai-
arol.
41 Arall [yw] gogoniant yr haul, arall [yw] gogon-
iant y lloer, arall [yw] gogoniant y ser: canys y mae
rhagor rhwng seren a seren mewn gogoniant.
c Mat. 10 41. a 19,2 42 c Felly y mae adgyfodiad y meirw: y corph a
hauir mewn llygredigaeth, ac a gyfodir mewn anllygr-
edigaeth.
d Phil. 3 21 43 d Efe a hauir mewn ammarch, ac a gyfodir mewn
Mat. 13 43 gogoniant: efe a hauir mewn gwendid, ac a gyfodir
mewn nerth: efe a hauir yn gorph anianol, ac a gy-
fodir yn gorph ysprydol.
e Luc. 20 36 44 e Y mae corph anianol, ac y mae corph ysprydol.
f Gen. 2,7 45 f Felly y mae yn scrifennedic, Y dyn cyntaf Adda
a wnaed yn enaid byw, a'r Adda diwethaf yn yspryd
yn bywhau.
46 Er hynny, nid yr ysprydol sydd yn gyntaf eithr yr
anianol, ac wedi hynny yr ysprydol.
g Gal. 4,1 47 g Y dyn cyntaf o'r ddaiar yn ddaiarol, yr ail dyn
yr Arglwydd o'r nef.
h Phil. 3 21 48 h Fel y mae y daiarol, felly y mae y rhai daiarol:
a fel y mae y nefol, felly mae y rhai nefol.
49 A megis y dugasom ddelw y daiarol, felly y dug-
wn ddelw y nefol hefyd.
i Mat. 25 34 50 i Eithr hyn meddaf (O frodyr) na ddichon cig a
gwaed etifeddu teyrnas Dduw: na llygredigaeth etif-
eddu anllygredigaeth.
j Heb. 9 7 51 j Wele yr wyf yn dangos i chwi ddirgelwch, ni
Rhuf. 8 hunwn ni oll, eithr mewn moment y newidir ni oll, ac
ar droad yr amrant wrth yr udcorn diweddaf.
52 Canys yr udcorn a gân, a'r meirw a gyfodir yn
2 Cor. 5 5 anllygredic, a ninnau a newidir.
Dat. 3, 21 53 k O herwydd rhaid i'r llygradwy hwn wisco an-
llygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisco ammarwol-
Esa. 27 aeth.
54 l Felly wedi i'r llygradwy hwn wisco anllygred-
igaeth, a'r marwol hwn wisco ammarwolaeth, yna
y bydd yr ymadrodd yr hwn a scrifennwyd, Angeu a
lyngcwyd mewn buddygoliaeth.
Dat. 20 55 m O angeu, pa e y mae dy golyn? O uffern pa
le mae dy fuddygoliaeth?
56 Colyn angeu yw pechod, a grym pechod [yw] y
gyfraith.
57 n Ond i Dduw y byddo 'r diolch yr hwn sydd n Rhuf. 7 24, 25
yn rhoddi i ni fuddygoliaeth trwy Iesu Grist ein Har-
glwydd.
58 o Am hynny fy annwyl frodyr byddwch sicr, di- o 2 Pedr 3
sigl, ac helaethion yn oestadol yngwaith yr Arglwydd, 10 a 1,5,6 7
gan wybod nad yw ofer eich llafur yn yr Arglwydd.

## PEN. XVI.

*Yng-hylch casgl i'r brodyr o Ierusalem. 10 Yng-hylch Timotheus, Apollo, ac eraill, ac anherchion caredic.*

HEFYD p am y gascl i'r saint megis yr ordeiniais p 1 Ion 3
yn eglwysi Galatia, felly gwnewch chwithau. 17
2 q Pob dydd cyntaf o'r wythnos, rhodded pob un o
honoch heibio wrtho ei hun, gan roi yng-hadw yn ol q Mat 6 20
y llwyddiant a fyddo iddo, fel na byddo casgl pan
ddelwyf.
3 r Ac wedi y delwyf pa rai bynnac a ddangoswch
chwi yn gymmeradwy trwy lythyrau, y rhai hynny a r 2 Cor. 8 1
ddanfonaf i ddwyn eich cardod i Ierusalem.
4 s Ac os bydd y peth yn haeddu i minne fy hun s Act. 24
fyned, hwy a gânt fyned gyd â mi. 17
5 Eithr mi a ddeuaf attoch pen elwyf trwy Mace-
donia, (canys trwy Macedonia yr âf)
6 t Ac nid hwyrach yr arhosaf neu y gaiafaf gyda t 2 Cor. 1
chwi, fel i'm hebryngoch i ba le bynnac yr elwyf. 26.
7 u Canys nid ymwelaf â chwi yr awr hon ar fy hynt, Tit 3, 13
ond yr wyf yn gobeithio 'r arhoaf ennyd gyd â chwi u Rhuf. 1 10
os canhiada yr Arglwydd. Iago 4,15
8 v Mi a arhôf yn Ephesus hyd y Sul-gwin. v Act. 19
9 w Canys agorwyd i mi ddrws mawr a grymmus, ac 10
[y mae] gwrthwynebwyr lawer. w Act. 24
10 x Ac os Timotheus a ddaw, edrychwch am ei fod 27
yn ddiogel gyd â chwi; canys y mae yn gweithio Dat. 3, 8
gwaith yr Arglwydd fel finne. x Gal. 2,4
11 Am hynny na ddiystyred neb ef, ond hebryng-
wch ef mewn heddwch i ddyfod attaf: canys yr wyf
yn ei ddisgwil gyd â'r brodyr.
12 Hefyd am y brawd Apollos, mi a ymbiliais yn
fawr âg ef am ddyfod attoch gyd â'r brodyr, eithr er
dim nid oedd ei ewyllys ef i ddyfod yr awron, ond efe
a ddaw pan gaffo ennyd.
13 y Gwiliwch, sefwch yn y ffydd, ymwrolwch, ym- y Gal. 5,1
gryfhewch.
14 Bydded eich holl bethau chwi mewn cariad.
15 z Ond yr ydwyf yn attolwg i chwi frodyr (chwi a z Act. 6,3
wyddoch am deulu Stephanas eu bod yn flaen-ffrwyth 5
Achaia, a darfod iddynt ymroi i weini i'r sainct)
16 a Fod o honoch yn ymddarostynged g i'r cyfryw, a Heb. 13
ac i bawb o'n cydweith-wyr a'n cydlafur-wyr. 17
17 b Llawen ydyw gennif ddyfodiad Stephanas, a b Rhuf. 1
Ffortunatus, ac Achaicus, canys hwy a gyflawnasant 12
eich diffyg chwi.
18 c Canys diddanasant fy yspryd i, a'r eiddoch chwi- c 1 Thes. 3
thau: cydnabyddwch gan hynny y cyfryw rai. 6
19 d Y mae yr eglwysi o Asia yn eich annerch chwi: d Dat. 1,5
y mae Aquila a Phryscilla gyd â'r eglwys yr hon sydd Rhuf 16
yn eu tŷ yn eich annerch chwi yn fawr yn yr Ar- 5
glwydd.
20 Y mae y brodyr oll yn eich annerch, anherchwch
ei gilydd â chusan sancteiddiol.
21 Annerch, â'm llaw i Paul.
22 Od oes neb heb garu yr Arglwydd Iesu Grist.

bydded ef Anathema maranatha.
23 Gras ein Harglwydd Iesu Grist gyd â chwi.
24 Bydded fy serch inne gyd â chwi oll yn Iesu
Grist. Amen.

Yr Epistol *cyntaf at y Corinthiaid a scrifennwyd o Philippos, gyd â Stephanas, Ffortunatus, ac Achaicus, a Thimotheus.*

---

# AIL EPISTOL PAUL

AT Y

# CORINTHIAID.

## PENNOD. I.

*Y mae yn dangos fod ei gystudd yn Asia yn ddiddanwch iddynt hwy. 17 Ac yn dangos nad o yscafnder meddwl yr oedase efe ddyfod attynt pan addawse.*

PAUL Apostol Iesu Grist, a'r brawd Timotheus
trwy ewyllys Duw at eglwys Dduw yr hon sydd
yn Corinth, gyd â'r holl seinctiau y rhai sy yn holl Achaia:
2 Gras fyddo gyd â chwi, a thangneddyf gan Dduw
ein Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
a Rhuf. 11, 36 3 [a] Bendigedic fyddo Duw Tad ein Harglwydd ni
Iesu Ghrist, Tad y trugareddau, a Duw holl ddiddanwch.
b Sal. 34, 5 4 [b] Yr hwn sydd yn ein diddanu ni yn ein holl orthrymder,
Pen. 11, 33 fel y gallom ddiddanu y rhai sy mewn dim
gorthrymder, trwy y diddanwch ein diddenir ninnau
gan Dduw.
5 O blegit fel yr amlheir dioddefiadau Crist ynom,
felly yr amlheir ein diddanwch ni trwy Grist.
c Col. 1, 24 6 [c] Hefyd os cystuddir ni [y mae hynny] er diddanwch,
Phil. 3, 10 ac iechydwriaeth i chwi, yr hon a weithir gan
ymaros yn yr unrhyw ddioddefiadau, y rhai yr ydym
ni hefyd yn eu dioddef: ac os diddenir ni, er diddanwch
ac iechydwriaeth i chwi [y mae hynny.]
d Rhuf. 12, 15 7 [d] Ac y mae ein gobaith yn siccr am danoch, gan i ni
wybod, mai megis yr ydych yn gyfranogion o'r dioddefiadau,
felly [y byddwch] hefyd o'r diddanwch.
e 1 Cor. 10, 13 8 [e] Canys frodyr ni fynnem i chwi fod heb wybod,
am ein cystydd a ddaeth i ni yn Asia, bwyso arnom
yn anfeidrol uwch ben [ein] gallu, hyd onid oeddem yn
ammeu na allem fyw.
f Act. 13, 51 9 [f] Ond ni a dderbyniasom farn angeu ynom, fel na
obeithiom ynom ein hunain, onid yn Nuw yr hwn
sydd yn cyfodi i fynu y meirw.
g 1 Tim. 6, 17 10 [g] Yr hwn a'n gwaredodd ni oddi wrth gyfryw
ddirfawr angeu, ac sy yn ein gwaredu: yn yr hwn yr
ydym yn gobeithio y gwared efe rhag llaw.
h Rhuf. 15, 30 11 [h] Os chwy-chwi a gydweithiwch mewen gweddi
Eph. 6, 17 trosom, fel, am y rhoddiad a rodded i ni o herwydd
llawer, y rhodder diolch gan lawer trosom,
i Ioan 19, 16 12 [i] Canys ein gorfoledd ni yw hyn, [sef,] testiolaeth
Sal. 32, 2 ein cydwybod ni, o blegit mewn diniweirwydd a duwiol
Ioan 1, 47 burdeb, ac nid yn noethineb cnawdol, ond trwy
ras Duw, y bu i ni ein ymddwyn ein hunain yn y byd,
ac yn enwedic yn eich mysc chwi.
j 1 Thes. 2, 1, 10 13 [j] Canys nid ydym yn scrifennu amgen bethau attoch,
nac yr ydych yn eu darllen, neu yr ydych yn eu
cydnabod, ac yr ydwyf yn gobeithio y cydnabyddwch
hyd y diwedd.
14 [k] Ac megis y cydnabuoch ni, o rann ein bod yn k 1 Thes. 3, 19
orfolaeth i chwi, fel yr ydych chwithau i ninnau yn
nydd yr Arglwydd Iesu Grist.
15 [l] Ac yn y gobaith hyn yr oeddwn yn ewyllysio l 1 Cor. 16, 5
dyfod attoch y waith gyntaf, fel y caffech ail gras.
16 A myned (heb eich llaw chwi i Macedonia, a
dyfod trachefn o Macedonia attoch, a chael fy hebrwng
gennych i Iudæa.
17 Gan hynny pan oeddwn yn amcanu fel hyn, a
arferais i o yscafnder? neu a wyfi yn amcanu y pethau
yr wyf yn amcanu, ar ol y cnawd, fel y bydde gyd
â mi Ie, ie, ac nag ê, nag ê?
18 [m] Ond Duw sydd ffyddlon, canys nid Ie, ac m 1 Cor. 1, 9
nag ê ydoedd ein ymadrodd wrthych chwi. 2 Thes. 3, 3
19 [n] Canys Mab Duw Iesu Grist yr hwn a bregethwyd
yn eich plith genym ni, sef myfi a Sulfanus a n Heb. 13, 8
Timotheus, nid ydoedd, ie, ac nag ê, eithr ynddo ef
ie ydoedd.
20 [o] O blegit holl addewidion Duw ynddo ef ydynt, o Ioan 14, 6
ie, ac ynddo ef [ydynt] Amen, er gogoniant Duw
trwyddom ni.
21 [p] A Duw [yw]'r hwn a'n cadarnha ni gyd â chwi p 1 Ioan 2, 27
yng-Hrist, ac a'n eneiniodd ni.
22 Yr hwn hefyd a'n seliodd, ac a roes wystleidiaeth
yr yspryd yn ein calonnau.
23 [q] Ac yr wyf fi yn galw Duw yn dyst i'm henaid, q Pen. 12, 6
mai er eich arbed chwi na ddaethym etto i Corinth.
24 [r] Nid am ein bod yn arglwyddiaethu ar eich ffydd r Iago 5, 1
chwi, ond yr ydym yngyd-weithwyr i'ch llawenydd: 1 Pedr 5, 3
o blegit trwy ffydd yr ydych yn sefyll.

## PEN. II.

*Y mae yn dangos fod yr hwn a yscymmunaid am loscach neu insest yn beth achos na ddaethe efe attynt hwy. 6 Yn maddeu i hwnnw, gan ewyllysio eu cydunpeb hwythau i hynny. 14 Yn diolch am ffynniant yr efengyl. 17 Ac yn amddeffyn ei athrawiaeth yn erbyn y gau athrawon.*

EITHR mi a fwriadais hyn ynof fy hunan, na ddelwn
attoch trachefn mewn tristwch.
2 O blegit os myfi a'ch tristâf chwi, pwy yw yr hwn
a'm llawenhâ fi, ond yr hwn a dristawyd genniffi?
3 [s] A mi a scrifennais hyn ymma attoch, rhag (pan s Phil. 3, 2
ddelwn) cael o honof dristwch ar dristwch gan y rhai 1 Cor. 13
y dylwn ymlawenhau: gan obeithio am danoch oll,
fod fy llawenydd i yn llawenydd i chwi oll.
4 [t] Canys mewn gorthrymder mawr, a chyfyngder t Phil. 3, 18
calon yr scrifennais attoch â dagrau lawer, nid fel i'ch
tristaid chwi, eithr fel y gwybyddech y cariad sy gennif
yn enwedig i chwi.
5 Os gwnaeth neb dristau, ni wnaeth efe i mi dristau,

ond o rann, rhag i mi bwyso arnoch chwi oll.
u 1 Cor. 5 6 u Digon [yw] i'r cyfryw [ddyn] y cerydd ymma, yr
2 hwn a rodded iddo gan lawer.
v Mat. 18 7 v Megis yn hytrach yng-wrthwyneb, y dylech chwi
18 faddeu iddo a'i ddiddanu, rhag llyngcu y cyfryw gan
ormod tristwch.
w 1 Thes. 8 w Am hynny yr ydwyf yn attolwg i chwi, gadarn-
5, 14 hau eich cariad arno.
x Mat. 16 9 x Canys er mwyn hyn hefyd yr scrifennais, fel y
19 cawn wybod profedigaeth am danoch, a fyddech uf-
ydd ym mhob peth.
10 I'r hwn yr ydych yn maddeu dim iddo, [yr wyf]
finne: canys os maddeuais i ddim, i'r hwn y maddeu-
ais er eich mwyn chwi [y maddeuais] yng-olwg Crist.
y 1 Pedr 5, 8 11 y Rhag ein siommi gan Satan: canys nid ydym
Pen 12, 17 heb wybod ei amcanniou ef.
12 Pan ddaethym i Troas i [bregethu] Efengyl Grist,
ac agoryd drws i mi gan yr Arglwydd,
13 Ni chefais lonydd yn fy yspryd am na chefais
Titus fy mrawd, eithr gan ganu yn iach iddynt, mi a
euthym ymmaith i Macedonia.
z Rhuf. 8 14 z Ond i Dduw y byddo'r diolch, yr hwn, yn oes-
37 tad sydd yn peri i ni orfoledd yng-Hrist, ac sydd yn
eglurhau arogledd ei wybodaeth trwyddom ni ym
mhob lle.
a Luc 2 15 a Canys per-arogl Crist ydym ni i Dduw, yn y rhai
35 Act. 20 cadwedig, ac yn y rhai colledig.
26 16 b I'r naill yr [ydym] yn arogl marwolaeth i farw-
b Mat. 13 olaeth, ac i'r lleill yn arogl bywyd i fywyd, a phwy
14 sydd ddigonol i hyn?
c Act. 15 17 c Canys nid ydym ni fel y mae llawer, yn gwneu-
1 thur twyll am air Duw, eithr megis o burdeb, eithr
megis o Dduw, yng-wydd Duw yr ydym yn llefaru
yng-Hrist.

## PEN. III.

*I beidio ai ganmol ei hun y mae efe yn dangos fod ei glod ef i'w gweled yn y Corinthiaid. 6 A bod yr Efengyl yn fwy gogoneddus na'r gyfraith.*

AI dechreu yr ydym ni ein canmol ein hunain tra-
chefn? ai rhaid i ni fel i eraill wrth lythyrau
canmoliaeth attoch chwi, neu canmoliaeth oddi wrth-
ych chwi?
d 1 Cor. 9 2 d Ein llythr ni ydych chwi yn scrifennedig yn ein
2 1 Thes. 2 calonnau, yr hwn a ddeallir, ac a ddarllenir gan bob
19 dyn.
e Heb. 8 3 e Gan fod yn eglur eich bod chwi yn llythr Crist,
10 yr hwn a roddwyd allan trwy ein gweinidogaeth ni,
ac a scrifennwyd, nid âg ingc, ond âg Yspryd Duw
byw, nid mewn llechau cerrig, eithr mewn cnawdol
lechau y galon.
f Col. 1. 6 4 f A chyfryw obaith sydd gennym trwy Grist ar
Mat. 28 20 Dduw.
g Ioan 1 5 g Nid o herwydd ein bod yn ddigonol o honom ein
16 hunain i feddylio dim megis o honom ein hunain,
eithr ein digonedd ni sydd o Dduw.
h Eph. 4 6 h Yr hwn hefyd a'n gwnaeth ni yn weinidogion y
10 Testament Newydd, nid i'r llythyren, ond i'r Yspryd:
canys y mae y llythyren yn lladd, a'r Yspryd sydd yn
bywhau.
i Ecs. 34, 7 i Ac os oedd gweinidogaeth angeu yr hon a ar-
30 graphwyd â llythyrennau ar lechau yn ogoneddus, fel
na allè plant yr Israel edrych yn wyneb Moses gan
ogoniant ei wyneb-pryd, yr hwn [ogoniant] a ddeleu-
wyd,
8 Pa fodd nad mwy y bydd y gweinidogaeth yr Ys-
pryd mewn gogoniant?
9 j Canys os bu gweinidogaeth colledigaeth yn ogon- j Phil. 3, 9
eddus, mwy o lawer y rhagora gweinidogaeth cyfiawn-
der mewn gogoniant.
10 Canys yr hyn a ogoneddwyd, ni ogoneddwyd yn
y rhan hon, [sef] hyd y perthyn i'r gogoniant ar-
dderchog.
11 k O blegit os yr hyn a ddeleuid ymmaith oedd yn k Mat. 28
ogoneddus, mwy o lawer [fydd] yr hyn a erys, yn 19, 20
ogoneddus.
12 Felly gan fod gennym gyfryw obaith, yr ydym l 1 Thes. 2
yn arfer hyfder. 9
13 m Ac nid ydym ni fel Moses, yr hwn a rodde or- m Ecs. 34
chudd ar ei wyneb, rhag i blant Israel edrych ar ddi- 33
wedd yr hyn a ddeleuid.
14 n Am hynny y caledwyd eu meddwl hwy: canys n Rhuf. 4 10
hyd y dydd heddyw y mae y gorchudd hwnnw yn aros Gal. 3, 21
heb ei dadguddio wrth ddarllen yr Hen Destament, yr
hwn yng-Hrist a dynnir ymmaith.
15 Eithr hyd y dydd heddyw pan ddarllenir Moses,
y rhoddir y gorchudd ar eu calonnau hwynt.
16 o Er hynny pan ymchweler at yr Arglwydd, y o Hos 3, 5
tynnir y gorchudd.
17 Yr awron yr Arglwydd yw 'r Yspryd, a lle mae
Yspryd yr Arglwydd, yno y mae rhydd-did.
18 p Eithr edrych yr ydym ni oll, megis mewn drych, p Mat. 13 23
ar ogoniant yr Arglwydd âg wyneb agored, ac i'n Sal. 84, 7
newidir ni i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant,
megis gan Yspryd yr Arglwydd.

## PEN. IV.

*Dywydrwydd Paul yn ei swydd. 13 A'r achosion y rhai sy yn peri.*

AM q hynny gan fod i ni y weinidogaeth hon, megis y q 1 Cor. 3
cawsom drugaredd, nid ydym yn pallu. 6
2 r Eithr ni a wrthodasom ddirgelwch gwradwydd, r Luc 20
heb rodio yn ddichellgar, nac arfer twyll am air Duw: 47 2 Pedr 2
eithr eglurhâd y gwirionedd yr ydym yn ein canmol 3, 15
ein hun wrth bob cydwybod dyn ger bron Duw.
3 s Ac os yw ein Efengyl ni yn guddiedic, yn y rhai s Mat. 13
colledig y mae yn guddiedic. 13
4 t Ym mha rai y dallodd duw y byd hwn feddyliau Act. 13, 48
yr anffyddlonion, rhag tywynnu iddynt lewyrch Efen- t Dat. 18, 2
yl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Dduw. Heb. 1, 3
5 u Canys nid ydym yn ein pregethu ein hunain, u Pen. 1 24
ond Crist Iesu yr Arglwydd, a ninneu yn weision i Gal. 3. 1
chwi er mwyn Iesu.
6 v Canys Duw yr hwn a orchymynnodd i'r goleuni v Gen. 1,
lewyrchu o dywyllwch, [yw] yr hwn a lewyrchodd yn 3, 4
ein calonnau, i roddi goleuni gwybodaeth gogoniant
Duw, yn wyneb Iesu Grist.
7 w Eithr y tryssor hwn sydd gennym mewn llestri w Mat. 13 44
pridd, fel y bydde ardderchogrwydd y meddiant hwn-
nw o Dduw, ac nid o honom ni.
8 x Ym mhob man ein cystuddir, er hynny nid ydym x Rhuf. 8 35
mewn ing: y mae yn gaeth arnom, ond nid ydym 1 Cor. 10 13
gwbl heb obaith.
9 y Wedi ein herlid, ond heb ein gwrthod, wedi ein y Esa 43
taflu i lawr, eithr heb ein difetha. 2
10 z Gan arwain bob amser o amgylch yn y corph, z Gal 6, 17 Rhuf 8
farwolaeth yr Arglwydd Iesu, fel yr eglurer hefyd fyw- 10
yd Iesu yn ein corph.
11 a Canys yr ydys yn ein rhoddi ni y rhai ydym yn
oestad i farwolaeth er mwyn Iesu, fel yr eglurhaer a Sal 44 22
hefyd fywyd Iesu yn ein marwol gnawd ni. b Act 9 16
12 b Ac felly y mae angeu yn gweithio ynom ni, ac Phil 1, 13

eniqes ynoch chwithau.
c 1Cor 12 13 c A chan fod i ni yr un yspryd ffydd, megis ac y
4 Salm 116 mae yn yscrifenedic, Credais, ac am hynny y dywedais,
10 ninnau hefyd ydym yn credu, ac am hynny y dywedwn;
d 1Cor 15 14 d Gan wybod y bydd i'r hwn a gyfododd yr Ar-
15 glwydd Iesu, ein cyfodi ninnau hefyd trwy Iesu, a'n
gosod gyd â chwi.
e 1Cor 3 15 e Canys pob peth sydd er eich mwyn chwi, fel yr
22 amlhao yr helaethaf ras trwy ddiolch llawer er gogon-
iant i Dduw.
16 Am hynny nid ydym ni yn ymollwng, eithr er
llygru ein dyn oddi allan, er hynny y dyn oddi mewn
f Rhuf 8 a adnewyddir o ddydd i ddydd.
17 17 f O blegit y mae yscafnder ein cystudd yr hwn ni
Esa 27,7 pheru ond munyd, yn peri i ni yn rhagorol [gael] rhag-
orol a thragywyddol bwys gogoniant.
gHeb 11 18 g Tra nid ydym yn ystyried y pethau a welir ond
1 y pethu ni welir: canys y pethau a welir sy amserol,
a'r pethau ni welir sy dragywyddol.

## PEN. V.

*Mor fuddiol yw marwolaeth dduwiol i'r duwiol. 14 Mawredd gras Duw. 20 Swydd a braint eglwys-wyr.*

h Rhuf 8 CANYS h ni a wyddom os daiarol dŷ ein presswyl-
38 fod a ddatodir, fod i ni adeilad gan Dduw, [sef] tŷ,
Heb 11 16 nid o waith llaw, [ond] tragywyddol yn y nefoedd.
i Rhuf 8 2 i Canys am hynny yr ydym yn ocheneidio gan
22 ddesyfio cael ein gwisco â'n tŷ yr hwn sydd o'r nef.
j Dat 19 3 j Oblegit os gwiscir ni, ni'n ceffir yn noethion.
8 k Rhuf 7 4 k Canys yn ddiau [nyni] y rhai sy yn y babell hon
24 ydym yn ocheneidio, ac yn llwythog am nad ewyllys-
1 Thes 4 17 iem ein diosc, ond ymwisco, fel y llyngcid yr hyn sydd
farwol gan fywyd.
5 A'r hwn a'n creawdd ni i hyn yw Duw, yr hwn hef-
yd a roddoddi ni wystleidiaeth yr Yspryd.
l Phil 1 6 l Am hynny yr ydym bob amser yn hyderus, ac yn
23 gwybod tra fo'm gartref yn y corph, ein bod oddi car-
tref oddi wrth yr Arglwydd.
7 Canys wrth ffydd yr ydym yn rhodio, ac nid wrth
y golwg.
m Phil 1 8 m Er hynny yr ydym yn hyderus, ac y mae yn fod-
23 lonach gennym fod oddi cartref o'r corph a chartrefu
gyd â'r Arglwydd.
n Rhuf 15 9 n Am hynny hefyd yr ydym yn chwennychu pa un
20 bynnag ai gartref y byddom, ai oddi cartref, fod yn
gymmeradwy ganddo ef.
o Rhuf 14 10 o Canys rhaid yw i ni oll ymddangos ger bron
10 brawdle Crist, fel y derbynnio pob un y pethau a
[wnaethpwyd] yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa
un bynnag ai da ai drwg.
p Rhuf 2 11 p Felly gan i ni wybod ofn yr Arglwydd, yr yd-
9 ym ni yn peri i ddynion gredu, ac ni wnaed yn hys-
pus i Dduw, ac yr ydwyf yn gobeithio hefyd ddarfod
ein gwneuthur yn hyspus yn eich cydwybodau chwi.
q Ioan 7 12 q Canys nid ydym yn ymganmol trachefn wrth-
48 ych, ond yn rhoddi i chwi achos gorfoledd o'n plegit
ni, fel y caffoch [beth i atteb] yn erbyn y rhai sy a'u
gorfoledd yn yr wyneb, ac nid yn y galon.
r 1Cor 10 13 r Canys os amhwyllo yr ydym, i Dduw yr ydym,
13 ac os bod yn ein pwyll, i chwi [yr ydym]
14 Canys y mae cariad Crist yn ein cymhell ni, gan
i ni farnu hyn, os bu un farw tros bawb, yna mai mei-
rw oedd pawb.
s 1 Cor 6 15 s Ac efe a fu farw tros bawb, fel y bydde i'r rhai
20 Tit. 2, 15 byw, na fyddent fyw rhag-llaw iddynt eu hunain, ond
i'r hwn a fu farw trostynt, ac a adgyfododd.
16 t Am hynny o hyn allan, nid ydym yn adnabod t Iago 4 4
neb yn ol y cnawd, ac os buom ni hefyd yn adnabod Gal 2,14
Crist yn ol y cnawd, er hynny o hyn allan nid ydym
yn ei adnabod ef mwy [felly.]
17 u Gan hynny od oes neb yng-Hrist [y mae efe] yn u Eph 4
greadur newydd, yr hen bethau a aethant heibio, 23
wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd.
18 v A'r cwbl sydd o Dduw, yr hwn a'n cymmododd v 1Pen 3
ni âg ef ei hun trwy Iesu Grist, ac a roddodd i ni 9
weinidogaeth y cymmod.
19 Canys Duw oedd yng-Hrist, yn cymmodi y byd
âg ef ei hun, heb adliwio iddynt eu pechodau, ac a
osododd ynom ni air y cymmod.
20 w Am hynny yr ydym ni yn gennadau tros Grist, w Diar 1
megis pe bydde Duw yn ymbil â chwi trwyddom ni: 24. Mat 10
yr ydym yn attolwg i chwi tros Grist, cymmodwch â 40
Duw.
21 x Canys efe a wnaeth yn bechod trosom ni, yr x Gal 3
hwn ni adnabu bechod, fel ein gwnelid ni yn gyfiawn- 13 Esa 53, 5
der Duw ynddo ef. 10

## PEN. VI.

*Y mae efe yn eu hannog hwynt i amryw rinweddau rhagorol. 14 Ac yn anad dim i ochelyd ymgymharu â'r rhai anghredadwy.*

FELLY y ninnau gan gydweithio ydym yn attolwg y Mat 15
i chwi na dderbynioch râs Duw yn ofer. 19, 23
2 z (Canys medd efe, Yn amser cymmeradwy i'th z Esa 49
wrandewais, ac yn nydd iechydwriaeth i'th gynhorth- 8
wyais: wele yn awr yr amser cymmeradwy, wele yn
awr ddydd yr iechydwriaeth.)
3 a Heb roddi dim achos tramgwydd mewn dim, a 1Cor 10
rhag beio ar y weinidogaeth. 32
4 b Eithr gan ein gosod ein hun allan ym mhob peth b Pen 2
fel gweinidogaeth Duw, mewn ammynedd mawr, 17
mewn cystudd, mewn angen, ac mewn cyfyngder.
5 Mewn gwialennodau, mewn carcharau, mewn
terfyscau, mewn poen, mewn gwiliadwriaethau, mewn
ymprydiau.
6 Mewn purdeb, mewn gwybodaeth, mewn ymaros,
mewn tiriondeb yn yr Yspryd Glân, mewn cariad
diragrith.
7 Yng-air gwirionedd, yn nerth Duw, mewn arfau
cyfiawnder ar y llaw ddeheu, ac ar y llaw asswy. c Ioan 18
8 c Mewn parch ac ammarch, mewn clôd, ac anglod, 7 Act 17 32
megis twyllwŷr, ac er hynny yn gywir.
9 Megis anadnabyddus, ac [er hynny] yn adnabydd-
us, megis yn meirw, ac wele ni yn fyw, megis wedi
ein cospi, ac heb ein lladd d Act 5
10 d Megis yn dristion, ac etto yn oestad yn llawen: 41 1 Cor 3
megis yn dlodion, ac etto yn cyfoethogi llawer: megis 21
heb ddim gennym, ac atto yn meddiannu pôb peth.
11 Oh y Corinthiaid, ein genau a agorwyd i chwi,
ein calon a ehangwyd.
12 Ni chyfyngwyd arnoch ynom ni, eithr chwi a
gyfyngwyd arnoch yn eich ymyscaroedd eich hunain. e 1 Cor 4
13 e Am yr un gwobr, megis wrth fy mhlant yr wyf 15 Philem
yn dywedyd, Ymehengwch chwithau. 10
14 Nac iauer chwi yn anghymharus gyd â'r anffydd-
lonion, canys pa gymdeithas sydd rhwng cyfiawnder,
ac anghyfiawnder? a pha gyfeillach rhwng goleuni a
thywyllwch?
15 f A pha gyssondeb sydd rhwng Crist a Belial? f Deut 13
neu pa ran sydd i'r credadwy, ac i'r anghredadwy. 13
16 g A pha gydfod sydd rhwng teml Dduw, ac eu- g 1Cor 3 16

lynnod? canys chwi yw teml Duw byw: fel y dy-
wedodd Duw, Mi a bresswyliaf, ac a rodiaf yn eu mysc
hwynt: a mi a fyddaf eu Duw hwynt, ac hwy a fydd-
ant yn bobl i mi.
17 Am hynny deuwch allan o'u plith hwy, ac ym-
ddidolwch, medd yr Arglwydd: ac na chyffyrddwch
ddim aflan, yna mi a'ch derbyniaf chwi.
18 A mi a fyddaf yn Dad i chwi, a chwi a fyddwch
yn feibion, ac yn ferched i mi: medd yr Arglwydd
holl-alluoc.

## PEN. VII.

*Y mae yn eu hannog i sancteiddrwydd gan gofio iddynt addewidion Duw. 8 Yn ymescusodi am eu tristau hwynt. 13 Ac yn ddiolchgar yn coffau eu caredigrwydd hwynt i Titus.*

h 1 Thes 5 23 AM [h] hynny, gan fod i ni yr addewidion hyn (an-
1 Cor 6 22 nwylyd) ymlanhawn oddiwrth bob halogrwydd
cnawd, ac yspryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn
ofn Duw.
i Pen 2 17 2 [i] Derbyniwch ni, ni wnaethom gam i neb, ni lyg-
rasom neb, nid yspeiliasom neb.
3 Nid i'ch condemnio yr wyf yn dywedyd, canys
mi a ddywedais o'r blaen eich bôd yn ein calonau ni,
j 1 Thes 2 19 i gyd-farw, ac i gyd-fyw.
4 [j] Y mae hyfder fy ymadrodd yn fawr wrthych: y
mae gennif orfoledd mawr ynoch: yr wyf yn llawn o
ddiddanwch, ac yn dra-llawen yn ein holl orthrymder.
5 [i] Canys wedi ein dyfod i Macedonia ni chai ein
cnawd ni ddim llonydd, eithr ni a orthrymmid o bôb
k 1 Pedr 5 5 parth, rhyfeloedd oddi allan, ac ofn oddi mewn.
1 Thes 3 6 6 [k] Eithr Duw, yr hwn a ddiddana y rhai cystudd-
l Rhuf 12 15 iedig, a'n diddanodd ni wrth ddyfodiad Titus.
7 [l] Ac nid â'i ddyfodiad ef yn unic, ond hefyd â'r
diddanwch y diddanwyd ef gennych chwi, pan fyn-
egodd efe i ni eich awydd chwi, eich galar, eich an-
m 1 Cor 4 12 wyl-serch i mi, fel y llawenheais i yn fwy.
8 [m] Canys er i mi eich tristau chwi mewn llythyr,
nid yw edifar gennif, er bôd yn edifar gennif: canys
n Sal 78 36 37 yr wyf yn gweled dristau o'r llythyr hwnnw chwi,
er [bôd hynny] tros amser.
9 [n] Yn awr yr ydwyf yn llawen, nid am eich tristau,
ond am eich tristau i edifeirwch, canys tristau a
wnaethoch yn dduwiol, fel na chawsoch niwed mewn
o Luc 15 18, 22 dim gennym ni.
Mat 27 3 10 [o] Canys duwiol dristwch a bair edifeirwch er iechyd-
wriaeth diedifarus: eithr bydol dristwch a bair angeu.
p 1 Cor 5 3, 4 11 [p] Canys wele, pa ofal ei faint a weithiodd hyn
Ios 22,22 ynoch chwi? [sef] tristau o honoch yn dduwiol, ïe pa
amddeffyn, ïe, pa ddigofaint, ïe, pa ofn, ie, pa chwant,
ïe, pa wynfydiaid, ïe, pa ddial? ym mhôb peth yr
ymddangosasoch i fod yn bur yn y peth hyn.
q 1 Cor 9 9 12 [q] O herwydd pa ham, er scrifennu attoch, ni [scri-
Hos 6, 6 fennais] o'i blegit ef a wnaethoedd y cam, nac oblegit
yr hwn a gafodd y cam, ond er bod yn eglur i chwi,
ein gofal am danoch ger bron Duw.
r Rhuf 1 12 13 [r] Am hynny ni a ddiddanwyd o achos eich diddan-
Col 1, 6, 7 wch chwi, eithr llawenach o lawer oeddem am lawen-
a 4, 7 ydd Titus, am lonni ei yspryd ef gennych oll.
s 1 Cor 2 17 14 [s] Canys os gorfoleddais ddim wrtho am danoch,
Rhuf 3 18 ni'm cywilyddiwyd: eithr megis y dywedasom wrth-
ych bôb dim mewn gwirionedd, felly hefyd yr oedd
ein gorfoleddiad ni wrth Titus yn gywir.
15 Ac y mae ei galondid ef yn helaethach tu ac at-
toch, wrth gofio eich ufydd-dod chwi oll, pa fodd
trwy ofn a dychryn, y derbyniasoch ef.
16 [t] Am hynny llawen wyf, am fod i mi hyder arnoch t Philem 21
ym mhob dim. 2 Ioan 4

## PEN. VIII.

*Y mae efe yn eu hannog hwynt i fod yn hael i'r brodyr tlodion, gan ddwyn iddynt siampl y Macedoniad, 9 A Christ ei hun: Gan ddangos hefyd y galle fod at y Corinthiaid eu heisiau hwythau.*

YR [u] ydym hefyd yn yspysu i chwi, (frodyr) y u Phil 4 17
gras Duw a roddwyd yn eglwysi Macedonia.
2 [v] Canys mewn mawr brofedigaeth cystudd yr aml- v Luc 21 2
haodd eu llawenydd hwynt, ai llwyr eithaf dlodi a
amlhaodd iw helaeth gymmwynascarwch hwynt.
3 [w] Canys yn eu gallu (yr wyf fi yn testiolaethu) ac w 1 Tim 6 18
uwch-law eu gallu yr oeddent yn ewyllyscar.
4 Gan ddeisyfu arnom trwy lawer o ymbil, ar dder- Ezra 2 69
byn o honom ni yr haelioni a'r cyfranniad [a roddent]
i wasanaethu 'r seinctiau.
5 [x] A [hyn a wnaethant] nid fel yr oeddem yn go- x Mat 25 40
beithio, ond hwynt hwy a'i rhoddasant eu hunain yn
gyntaf i'r Arglwydd, ac yna i ninnau, trwy ewyllys Phil 4, 18
Duw?
6 Fel y dymunasom ni ar Titus, (megis y dech-
reuase efe o'r blaen) felly hefyd orphen yr un-rhyw
haelioni yn eich plith chwi.
7 [y] Am hynny fel yr ydych yn amlhau yn mhob dim, y 1 Cor 12 4, 5, 9
mewn ffydd a gair, a gwybodaeth, ac ym mhob astud- a 1, 5
rwydd, ac yn eich cariad tu ag attom ni, [ceisiwch]
amlhau hefyd yn y grâs hyn.
8 [z] Nid o ran gorchymyn yr ydwyf yn dywedyd, z Philem 8, 9
ond o blegit diwydrwydd rhai eraill, a chan brofi
gwirionedd eich cariad chwi.
9 [a] Canys chwi a adwaenoch râs ein Harglwydd a Heb 1, 3
Iesu Grist, ac efe yn gyfoethog, ei fyned er eich 1 Pedr 1 21
mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy
ei dlodi ef.
10 [b] Ac yr ydwyf yn rhoddi cyngor yn hyn, canys b 1 Cor 7 25
da fydde hyn i chwi, y rhai a ddechreusoch, nid yn Philem 14
unic wneuthur, ond hefyd ewyllysio er yr llynedd.
11 [c] Ac yn awr gorphennwch wneuthur hynny he- c 1 Cor 16 1
fyd, fel, megis yr oedd parodrwydd i ewyllysio, felly Pen 9, 7
y byddo hefyd i gwblau o'r hyn sydd gennych.
12 [d] Canys os bydd yn gyntaf ewyllyscarwch, cym- d Luc 21 3
meradwy yw, yn ol yr hyn sydd gan ddyn, nid yn ol Ecs 35, 6
yr hyn nid yw ganddo.
13 Ac nid i fod esmwythdra i eraill, a chustudd i
chwithau,
14 [e] Eithr mewn cymhwysdra y mae eich helaeth- e Gal 6, 2
rwydd chwi y pryd hyn, yn [diwallu] eu diffig hwy, Mat 5, 7
fel y gallo hefyd eu helaethrwydd hwynt ddiwallu eich
diffig chwithau, fel y byddo cymhwysdra.
15 Megis y mae yn scrifennedic, Yr hwn a gasclodd
lawer, nid oedd ganddo weddill, a'r hwn a gasclodd
ychydig, nid oedd arno eisieu.
16 Ac i Dduw y byddo'r diolch, yr hwn a roddodd
yng-halon Titus yr un-rhyw ofal trosoch.
17 [f] Am iddo gymmeryd y dymuniad, a chan fod
yn fwy gofalus, ddyfod attoch chwi oi waith ei hun. f Barn 5 9
18 [g] Ac ni a ddanfonasom hefyd gyd ag ef y brawd
yr hwn y mae ei glod yn yr Efengyl, trwy'r holl eg- g Col 4, 14
lwysi,
19 [h] (Ac nid [hynny] yn unic, eithr hefyd efe a ddе- h Heb 13 16
wiswyd gan yr eglwysi i gydymdeithio â ni a'r gras
hyn, yr hwn yr ydym ni yn ei wasanaethu, o herwydd Esa 16, 2 3
gogoniant yr Arglwydd, ac [amlygiad] eich ewyllys-
carwch chwithau)

20 Gan ymochelyd hyn, rhag i neb feio arnom yn yr
helaethrwydd ymma, yr hwn yr ydym ni yn ei wasanaethu.
i Rhif 18 17 — 21 ⁱ Y rhai ydym yn rhagddarpar pethau onest, nid
Phil 4 8 — yn unic ger bron yr Arglwydd, ond hefyd o flaen
Mat 5,16 — dynion.
22 Ac ni a anfonasom gyd â hwynt ein brawd, yr
hwn a brofasom yn fynych o amser, ei fod yn ddyfal
yn llawer o bethau, ac yn awr yn ddyfalach o lawer,
am y mawr ymddyried [sydd gennif] ynoch.
j 1 Cor 6 — 23 ʲ Os [gofynir] am Titus fyng-hydymaeth [yw,] a
20 Diar 4, 8 — chydweithydd tu ag attoch chwi: neu [am] ein brodyr,
cennadau yr eglwysi [ydynt,] a gogoniant Crist.
k Mat 5 — 24 ᵏ Am hynny dangoswch tu ag attynt hwy ger
16 1 Thes 1 — bron yr eglwysi, brofedigaeth o'ch cariad, ac o'n hym-
7 — ffrost ni am danoch chwi.

## PEN. IX.

*Y mae efe yn dangos yrru o honaw ef Titus, ac eraill attynt, fel y ceid hwynt yn barod, ac yn ewyllyscar i gyfrannu, 7 Yr hwn beth sydd dda gan Dduw, 13 A moliannus iddo ef.*

CANYS tu ag at am y weinidogaeth i'r sainct, af-
raid yw i mi scrifennu attoch.
1 Thes 1 — 2 O herwydd mi a adwen eich ewyllyscarwch chwi,
7, 8 — [am] yr hwn yr wyf yn gorfoleddu am danoch wrth y
Phil 1,14 — Macedoniaid, fod Achaia yn barod er yr llynedd, a'r
Mat. 15, 16 — zêl [a ddaeth] oddi wrthych chwi a annogodd lawer.
3 A mi a ddanfonais y brodyr, rhag i'n gorfoledd ni
am danoch fod yn ofer, yn y rhann hon, fel (megis y
dywedais) y byddoch barod:
m Pen 8 — 4 ᵐ Rhag, os y Macedoniaid a ddeuant gyd â mi, a'ch
1, 2 — cael chwi yn amharod, bod i ni (ni ddywedaf i chwi)
gael cywilydd yn hyn o sylwedd gorfoledd.
5 O herwydd pa ham, mi a dybiais fod yn angen-
rhaid attolwg i'r brodyr ddyfod o'r blaen attoch, ac i
gwplau o'r blaen eich bendith yr hon a ragfynegwyd,
fel y bydde yn barod, megis fel bendith, nid fel o gym-
mell.
n Gal 6,9 — 6 ⁿ A hyn [a ddywedaf,] A hauo yn brin a fêd hefyd
yn brin, ac a hauo yn helaeth a fêd hefyd yn helaeth.
o Luc 18 — 7 ᵒ Pob un megis y mae yn amcanu yn ei galon,
Diar 11 — felly gwnaed nid yn athrist, neu wrth gymmell, canys
26 — y mae yn hoff gan Dduw roddwr llawen.
8 Ac y mae Duw yn abl i beri i bob grâs amlhau tu
ag attoch, fel y galloch chwi (â phob digonoldeb
gennych, ym mhob dim, bob amser) amlhau pob
gweithred dda,
p Sal 112 — 9 ᵖ Megis y mae yn scrifennedic, Efe a wascarodd,
9 Mat 25 — [ac] a roddodd i'r tlodion, y mae ei gyfiawnder yn
31 — parhau yn dragywydd.
q Iago 1 — 10 ᑫ Hefyd yr hwn sydd yn rhoddi hâd i'r hauwr,
17 Sal 104 15 — rhodded hefyd fara yn ymborth, ac amlhaued eich hâd,
a chwaneged ffrwyth eich cyfiawnder.
r 1 Tim 6 — 11 ʳ Fel ym mhob ffordd i'ch cyfoethoger i bob
18 — cymmwynascarwch, yr hyn a weithia trwyddom ni
ddiolch i Dduw.
s Phil 4 — 12 ˢ Canys y mae gweinidogaeth y swydd hon, nid
18 — yn unic yn cyflawni angenrhaid y sainct, ond hefyd
yn amlhau, gan lawer diolch i Dduw, trwy brofiad y
weinidogaeth hon.
t Act 11 — 13 ᵗ [Y rhai sy] yn moliannu Duw am eich cydsyn-
18 — niol ymostwng i Efengyl Grist, ac am eich cymmwyn-
ascar gyfranniad iddynt hwy, ac i bawb oll.
u 2 Tim 1 — 14 ᵘ A thrwy eu gweddi hwythau y rhai ydynt yn
18 — hiraethu am danoch chwi, am yr ardderchawg ras
Duw [yr hwn sydd] ynoch.
15 ᵛ Ac i Dduw y byddo'r diolch am ei anrhaethol — v Rhuf 11
roddiad. — 36

## PEN. X.

*Y mae efe yn ei amddeffyn ei hun a'i hyder yn erbyn y gau-athrawon, 12 Y rhai oeddynt yn eu canmol eu hun am lafur a phoen eraill.*

OND ʷ myfi Paul ydwyf yn attolwg i chwi er add- — w 1 Cor 2
fwynder a chymmesurdeb Crist, yr hwn wydd — 3, 4 Pen 12, 5
yng-wydd [wyf] ddiystyr yn eich plith, ac yn absenol — a 13, 10
ydwyf yn hyderus arnoch.
2 A hyn yr ydwyf yn ei ddymuno, na orfyddo i mi
fod yn hyderus pan fyddwyf bresennol â'r un rhyw
hyder, ac yr ydys yn meddwl fy mod yn hyderus ar
ryw rai y sawl sy yn meddwl ein bod ni yn rhodio
megis ar ol y cnawd.
3 ˣ O blegit er ein bod yn rhodio yn y cnawd, etto — x 1 Tim 1
nid ydym yn rhyfela ar ol y cnawd. — 18
4 ʸ Canys arfau ein rhyfel ni nid ydynt gnawdol, ond — y Zec 4
nerthol trwy Dduw i fwrw cestill i'r llawr, — 6, 7 Eph 6, 13
5 ᶻ Gan fwrw i lawr ddychymmygion, a phob uchel- — 17
beth a ddyrchefir yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan — z 1 Cor 2
gaethiwo pob meddwl i ufydd-dod Crist. — 14 Zec 2, 13
6 ᵃ A chennym yn barod ddial ar bob annufydd-dod, — a Mat 10
wedi y cyfiawner eich ufydd-dod chwi. — 25
7 ᵇ Ai edrych yr ydych chwi ar bethau o herwydd — b Ioan 7
golwg? os ymddyried neb ynddo ei hun ei fod efe yn — 24
perthyn i Grist, ystyried hyn trachefn o honaw ei hun, — 1 Cor 3, 23
fel y mae efe yn perthyn i Grist, felly yr ydym nin- — a 6, 19, 20
nau yn perthyn i Grist.
8 ᶜ O blegit pe gorfoleddwn beth mwy am ein aw- — c 1 Cor 5
durdod, yr hon a roddodd yr Arglwydd i ni er adeilad, — 28
ac nid er dinistr i chwi, ni chywilyddiwn,
9 Rhag tybied fy mod, megis yn eich ofni chwi â
llythyrau.
10 ᵈ Canys y llythyrau (meddant hwy) sy drymmion — d 1 Cor 2
a chedyrn, eithr presennoldeb y corph sydd wan, a'i — 1, 2
ymadrodd yn ddibris.
11 Meddylied y cyfryw un hyn, mai fel yr ydym ar
air drwy lythyrau yn absennol, felly [yr ydym] hefyd
mewn gweithred yn bresennol.
12 ᵉ Canys ni feiddiwn ni ymyrryd neu ymgyffelybu — e Luc 18
â'r rhai sy yn eu canmol eu hunain: eithr nid ydynt — 11 Dat 3 17
yn deall eu bod yn mesuro eu hunain wrthynt eu
hunain, ac yn cyffelybu eu hunain âg hwynt eu hun-
ain.
13 ᶠ Eithr ni orfoleddwn ni yn anghymmesurol, ond — f Col 2 18
yn ol mesur y rheol trwy yr hon y rhannodd Duw i — 1 Tim 1, 7
ni fesur i gyrhaeddyd hyd attoch chwithau.
14 ᵍ Canys nid ydym yn tra ymestyn, megis pe na — g Rhuf 15
chyrhaeddasem hyd attoch chwi: canys hyd attoch — 29
chwi hefyd y daethom ag Efengyl Grist.
15 ʰ Nid gan orfoleddu yn anghymmesur, sef am — h Luc 7
boen rhai eraill: eithr gan obeithio wedi y cynnyddo — 5
eich ffydd, gael ein mawrygu yn eich plith yn ôl ein
mesur yn helaeth.
16 Fel y gallwyf bregethu yr Efengyl tu hwynt i
chwi: [ac] nid gorfoleddu am y pethau a baratoiwyd
trwy reol neb arall.
17 Eithr yr hwn a orfoleddo, gorfoledded yn yr Ar-
glwydd.
18 ⁱ Canys nid yr hwn sydd yn ei ganmol ei hun — i Rhuf 2
sydd gymmeradwy, ond yr hwn y mae yr Arglwydd — 29
yn ei ganmol. — Esa 65, 5

## PEN. XI.

*Ei serch ef i'r Corinthiaid, 5 Ardderchogrwydd ei swydd ef, 9 A'r boen a gafodd efe ynddi hi.*

OCH na oddefech ychydig fy anghallineb, eithr hefyd goddefwch fi.

2 Canys eiddigus wyf am danoch, âg eiddigedd duwiol: o blegit darperais chwi i un gwr, i'ch rhoddi chwi megis morwyn bur i Grist.

jGal.4,11 Gen. 3,1 4
3 [j] Ac yr wyf yn ofni rhag megis y twyllodd y sarph Efa trwy ei chyfrwysdra, felly bod llygru eich meddyliau chwithau i fyned oddi wrth y semlrwydd sydd yng-Hrist.

k Ioan 5 43 Mat.7,15
4 [k] O blegit, os yr hwn a ddaw a bregetha Iesu arall, [amgen] na'r un a bregethasom ni, neu os derbynniwch amgen Yspryd nac a dderbynniasoch, neu amgen Efengyl nac a dderbynniasoch, teg y gallasech ei ddioddef.

lGal. 2,9 1 Cor. 15 10
5 [l] Canys yr ydwyf yn meddwl, na bum yn ol i'r Apostolion pennaf.

m1Cor.1 25 Rhuf. 16 26
6 [m] Ac er fy mod yn anghymmen o ymadrodd, etto nid wyf felly mewn gwybodaeth, eithr yn eich plith chwi nyni a eglurhawyd yn hollawl ym mhob dim.

n Act. 18 13
7 [n] A wneuthum i fai am i mi ymostwng fy hun fel y derchefid chwi? ac am i mi bregethu i chwi Efengyl Grist yn rhad?

o1Cor. 9 7 Mat. 10, 10
8 [o] Eglwysi eraill a espeiliais gan gymmeryd cyflog [ganddynt] i'ch gwasanaethu chwi.

pHeb.11 37
9 [p] A phan oeddwn yn bresennol gyd â chwi, ac arnaf eisieu, ni ormesais ar neb, canys yr hyn oedd arnaf eisieu, a gyflawnodd y brodyr a ddaethant o Macedonia, ac ym mhob dim yr ymgedwais, ac yr ymgadwaf heb bwyso arnoch.

10 Y mae gwirionedd Crist ynof, na argaeir y gorfoledd hyn yn fy erbyn yng-wledydd Achaia.

q Ioan 21 17
11 [q] Pa ham? ai am na charaf chwi? Duw a'i gwyr.

r Mat. 17 28
12 [r] Eithr yr hyn yr wyf yn ei wneuthur, hynny a wnaf: fel y torwyf ymmaith achlysur oddi wrth y rhai sy yn ewyllysio cael achlysur, fel y ceffid hwy yn gyffelyb i ni, yn yr hyn y maent yn gorfoleddu ynddo.

sPhil.3,2 1Bren. 13 18
13 [s] Canys y cyfryw gau Apostolion sy weithwyr twyllodrus, wedi ymrithio yn Apostolion Crist.

t Act. 16 16 1Sam. 28 15
14 [t] Ac nid rhyfedd, oblegit y mae Satan yntef yn ymrithio yn angel goleuni.

u 2Cron. 11, 15 Mat. 25 41
15 [u] Gan hynny nid mawr yw, er ymrithio ei weinidogion ef, fel gweinidogion cyfiawnder, y rhai y bydd eu diwedd yn ol eu gweithredoedd.

16 Trachefn meddaf, na thybied neb fy mod yn ffol: os amgen cymmerwch fi fel ffôl, fel y gallwyf finne hefyd orfoleddu ychydig.

17 Yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd nid ydwyf yn ei ddywedyd yn ol yr Arglwydd, eithr megis o anghallineb yn hyn o sylwedd gorfoledd.

18 Gan fod llawer yn gorfoleddu o herwydd y cnawd, minne a orfoleddaf hefyd.

19 Canys yr ydych yn dioddef ffyliaid yn llawen, gan fod eich hun yn synhwyrol.

vGal. 5.1 Luc 20 47
20 [v] Canys goddefwch pe caethiwe un chwi, pe bai un i'ch llyngcu, pe bai un yn dwyn oddi arnoch, pe bai un yn ymdderchafu, pe tarawe un chwi ar eich wyneb.

wPen. 10 10
21 [w] Am amharch yr ydwyf yn dywedyd: megis ein bod yn weiniaid: eithr ym mha beth bynnac y byddo neb hyf (yr wyf yn dywedyd yn ffol) hyf wyf inne hefyd.

x Phil. 3 5
22 [x] Hebræaid ydynt, felly finne: Israeliaid ydynt, felly finne: hâd Abraham ydynt, felly finne:

y1Cor. 15 10 1 Cor. 15 31
23 [y] Gweinidogion Crist ydynt, (yr ydwyf yn dywedyd yn ffol) mwy wyfi: mewn poen yn amlach: mewn archollion dros fesur: yng-harchar yn amlach, ym [mron] angeu yn fynych.

z Deut. 25. 3
24 [z] Gan yr Iddewon bum-waith y derbynniais ddeugain gwialennod ond un.

a Act. 16 22 Act.14,19
25 [a] Tair gwaith i'm curwyd â gwiail, un waith i'm llabyddiwyd, tair gwaith y torrodd llong arnaf, nos a dydd y bum yn y dyfn-for.

b Rhuf. 15. 19 Act.14,19
26 [b] Mewn teithiau y bum yn fynych, ym mheryglon llif-ddyfroedd, ym mheryglon lladron, ym mheryglon fyng-henedl [fy hun,] ym mheryglon gan y cenhedloedd, ym mheryglon yn y ddinas, ym mheryglon yn yr anialwch, ym mheryglon ar y môr, ym mheryglon ym mhlith brodyr gau,

cHeb. 11 27
27 [c] Mewn blinder a lludded, mewn anhunedd yn fynych, mewn newyn a syched, mewn ympryd yn fynych, mewn annwyd a noethni.

28 Heb law y pethau [sy yn digwydd] oddi allan, y y mae yr ymosod beunyddol arnaf, [sef] y gofal tros yr holl eglwysi.

d1Cor. 9 22 1 Cor. 8 13
29 [d] Pwy sy wann, nad wyf finne wann? pwy a dramgwyddir, na loscwyf finne?

30 Os rhaid i mi orfoleddu, mi a orfoleddaf yn y pethau sy yn perthyn i'm gwendid.

31 Duw, a Thad ein Harglwydd ni Iesu Grist, yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd a ŵyr nad wyf yn dywedyd celwydd.

e Act. 9 24
32 [e] Yn Damascus llywiawdr y bobl dann frenin Aretas a barodd wilio dinas y Damasciaid, gan ewyllysio fy nal i.

fIos 2,15 Sal 34,19
33 [f] A thrwy ffenestr i'm gollyngwyd ar hyd y mur mewn basced, ac y diengais o'i ddwylo ef.

## PEN. XII.

*Y mae efe yn dadcan ei ardderchog weledigaethau. 5 Yn gorfoleddu yn fwyaf yn ei wendid. 11 Yn dangos pa ham y dywedodd gymaint i'w glod. 20 Gan ofni y bydde rhaid iddo fod yn llymmach wrth rai o honynt.*

NID cymmwys i mi yn ddiau orfoleddu: eithr mi a ddeuaf at weledigaethau, a datcuddiedigaethau yr Arglwydd.

gRhuf. 8 1 Pen.5,17
2 [g] Mi a adwaenwn ddyn yng-Hrist, er ys rhagor i bedair blynedd ar ddec, (pa un ai yn y corph, ni wn, ai allan o'r corph, ni wn: Duw a ŵyr) yr hwn a gymmerwyd i fynu hyd y drydedd nef.

3 Ie mi a adwaenwn y cyfryw ddyn (pa un ai yn y corph, ai allan o'r corph ni wn: Duw a ŵyr)

hLuc. 23 43 Dat. 2, 7
4 [h] Ei gymmeryd ef i fynu i baradwys, ac iddo glywed geiriau anhraethadwy, y rhai nid yw gyfreithlon i ddyn eu hadrodd.

5 Am hynny o beth y gorfoleddaf: ynof fy hun ni orfoleddaf, oddi eithr am fyng-wendid.

i1Cor 3,4 5 Mat. 23 10
6 [i] Canys pe gorfoleddwn, ni fyddwn ffol: canys dywedaf y gwir, eithr mi a arbedaf, rhac i neb feddylied am danaf uwch law y mae yn gweled fy mod, neu yn clywed gennif.

j2Cor.38 25 Mat. 25 41
7 [j] A rhac tra-ymdderchafu o honof gan odidogrwydd y datguddiedigaethau, y rhoddwyd i mi swmbwl yn y cnawd, cennad Satan i'm cernodio, rhac traymdderchafu o honof.

k Luc 18 1
8 [k] Am y peth hwn mi a attolygais i'r Arglwydd dair gwaith, ar fod iddo ymadael â mi.

l1Cor. 10 13
9 [l] Ac yntef a ddywedodd wrthif, Digon i ti fyngras i: canys fy nerth i a berffeithir trwy wendid: yn

llawen iawn gan hynny y gorfoleddaf fi yn hytrach
yn fyng-wendid, fel y trigo nerth Christ ynof.
mAct. 16 25 10 m Am hynny yr ymddigrifhâf fi, mewn gwendid,
mewn ammarch, mewn angen, mewn erlid, [ac] mewn
ing er mwyn Crist: canys pan wyf wan, yna yr wyf
gadarn.
n1Cor.15 10. a 3, 7 11 n Ffol oeddwn orfoleddu: chwychwi a'm gyrras-
och: canys dylaswn gael fyng-hanmol gennych chwi:
canys mewn dim nid oeddwn yn ol i'r Apostolion
pennaf, er nad wyf ddim.
o Act. 19 11, 12 1Cor. 9, 2 12 o Argoelion Apostol a weithredwyd yn eich plith
chwi gan fawr ddioddefgarwch, gan arwyddion, a
rhyfeddodau, a gwyrthieu.
13 Canys ym mha beth yr oeddech chwi yn is nag
eglwysi eraill, oddi eithr na fum i ormesol arnoch?
maddeuwch i mi hyn o gam.
p 1Thes. 2, 9 Act. 20 33, 34 14 p Wele, y drydedd waith yr wyfi yn barod i ddy-
fod attoch, ac etto ni byddaf ormesol arnoch, canys ni
cheisiaf y pethau sydd eiddoch, ond chwychwi: gan
na ddyle y plant gasclu tryssor i'r tadau ond y tadau
i'r plant.
qPen. 11 9 15 q A myfi yn llawenaf oll a dreuliaf, ac a ymdreul-
iaf dros eich eneidiau: er pa fwyaf i'ch caraf, lleiaf i'm
cerir.
rMat. 10 16 16 r Eithr bydded na phwysais arnoch, ond gan fod
yn gyfrwys, mi a'ch deliais trwy dwyll.
s2Pedr 2 3 17 s A gribddeiliais i chwi drwy neb o'r rhai a ddan-
fonais attoch?
tEph.4,4 18 t Mi a ymbiliais â Titus, [am ddyfod] a chyd âg
ef y danfonais y brawd arall: a espeiliodd Titus chwi
am ddim o'ch da? oni rodiasant yn yr unrhyw yspryd,
oni cherddasant yn yr unrhyw lwybrau?
u1Cor.14 26 19 u Drachefn a ydych chwi yn tybied mai ymescus-
odi yr ydym ni wrthych? yr ydym yn dywedyd ger
bron Duw yng-Hrist: a'r cwbl (O annwylyd) er ad-
eiladaeth i chwi.
v Pen. 13 2 Lef. 19,16 20 v Canys ofni yr wyf rhag pan ddelwyf na'ch caff-
wyf yn gyfryw rai ac a fynnwn: ac i'm ceffir finne i
chwithau yn gyfryw un ac ni fynnech: a rhac bod yn
eich plith ymryson, cenfigen, llid cynhennau, athrod,
ymchwyddo, terfysc:
w 1Thes 2, 19 1Cor.5, 2 21 w Rhac pan ddelwyf drachefn fod i'm Duw fy
narostwng yn eich plith, a dwyn galar dros lawer, y
rhai a bechasant eusus, ac ni chymmerasant edif-
eirwch am yr aflendid a'r godineb a'r anlladrwydd a
wnaethant.

PEN. XIII.

*1 Y mae efe yn bygwth y rhai anhydyn, 5 Ac yn datcan*
*beth yw ei feddiant ef wrth eu testiolaeth hwy eu hunain.*
*10 Hefyd y mae yn dangos beth yw effect yr epistol hwn.*
*11 Wedi darfod iddo eu hannog hwy i wneuthur a ddylent,*
*y mae yn dymuno iddynt lwyddiant yn gwbl.*

Y x DRYDEDD waith hon yr ydwyf yn dyfod at- xAct. 18,
toch, yng-enau dau neu dri o dystion y bydd 1
safadwy pob gair. Deut. 19 15
2 y Rhagddywedais i chwi, a rhagddywedaf i chwi yr yMat. 18
ail waith, megis pe bawn bresennol felly yr ydwyf yn 15
scrifennu yn absennol at y rhai ym mlaen llaw a bech-
asant, ac at bawb eraill, os deuaf trachefn, nad arbedaf.
3 z Gan i chwi geisio profiad o Grist yr hwn sydd yn z1Cor.10
llefaru ynof, yr hwn tu ag attoch chwi nid yw wann,
eithr sydd nerthol ynoch.
4 a Canys er ei groes-hoelio o ran gwendid, etto byw a Phil. 2 7
ydyw drwy nerth Duw: yr ydym ninnau hefyd yn Ioan 17
weiniaid ynddo ef, eithr byw fyddwn gyd âg ef trwy 24
nerth Duw tu ag attoch chwi.
5 b Profwch eich hunain, a ydych yn y ffydd, chwil- b Gal. 2
iwch eich hunain, oni adwaenoch eich hunain, [sef] 20
bod Iesu Grist ynoch, oddieithr i chwi fod yn wrthodedig? Ioan 6, 37
6 Ond yr wyf yn gobeithio y gwybyddwch nad ydym
ni yn ang-hymmeradwy.
7 c Ac yr wyf yn attolwg i Dduw na wneloch ddim c Ioan 17
drwg: nid er ein dangos ni yn gymmeradwy, ond er 15 Phil. 4, 9
i chwi wneuthur yr hyn sydd onest, a'n bod ninnau
megis yn rhai ang-hymmeradwy.
8 d Canys ni allwn ni wneuthur dim yn erbyn y gwir- d1Cor.13
ionedd, ond tros y gwirionedd. 19
9 e Canys llawen ydym ein bod ni yn weiniaid, a'ch eCol. 2, 5
bod chwithau yn gryfion: hyn hefyd a ddymunem,
[sef] eich perffeithrwydd chwi.
10 Am hynny yr wyf yn absen yn scrifennu y pethau
hyn, rhag i mi pan fyddwyf bresennol arfer o fod yn
dost, o herwydd yr awdurdod a roes yr Arglwydd i
mi er adeilad, nid er dinistr.
11 f Bellach (frodyr) ewch yn iach, byddwch berffaith, f 1Cor. 1 10
ymgyssurwch, synniwch yr un peth, byddwch heddych- Rhuf. 15 5
ol: a Duw y cariad a'r heddwch a fyddo gydâ chwi.
22 Annerchwch eu gilydd â chusan sanctaidd: y
mae 'r holl seinctiau yn erchi eich annerch.
13 g Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a gEph 1, 5
chymmundeb yr Yspryd Glân fyddo gydâ chwi oll. Rhuf. 8, 39
Amen. Mat. 28 19

*Fe a scrifennwyd yr ail at y Corinthiaid o Philippi ym Macedonia, gyd â Thitus a Lucas.*

# EPISTOL PAUL

AT Y

# GALATIAID.

PENNOD I.

*Paul yn ceryddu y Galatiaid am gynnwys Apostolion gau.*
*13 Yn dangos y modd y troes efe at Dduw, a'i ymarwedd-*
*iad yn ei swydd.*

h Eph. 4 11 2 Pedr 1 21 PAUL h Apostol, nid o ddynion, na thrwy ddyn,
eithr trwy Iesu Grist, a Duw Tad, yr hwn a'i
cyfododd ef o feirw, iAct. 16, 6 a 18, 23
2 i A'r brodyr oll y rhai sy gydâ mi, at eglwysi Galatiaid,
3 Gras [fyddo] gyd â chwi, a heddwch gan Dduw
Tad, a'n Harglwydd Iesu Grist:
4 j Yr hwn a'i rhoddes ei hun dros ein pechodau er j 2Cor. 5 21
ein gwared oddiwrth y byd drwg presennol yn ol Heb. 2, 8

ewyllys Duw a'n Tad ni:
k 1 Tim. 1 5 k I'r hwn y byddo gogoniant yn oes oesoedd. Amen.
17 l 2 Cor. 11 6 l Rhyfedd yw gennif morr fuan (gan ymadel â
3, 3 Christ yr hwn a'ch galwase i râs) i'ch symmud i Ef-
engyl arall,
7 Yr hon nid yw arall, eithr bod rhai yn eich blino
chwi, ac yn ceisio dattroi Efengyl Grist.
m Ioan 8 8 m Eithr pa un bynnac ai nyni, ai angel o'r nef a
55 Dat. 22 bregetho i chwi amgen na hyn a efengylasom i chwi,
18 bydded anathema.
Pen. 4,14 9 n Megis y dywedasom o'r blaen felly yr ydwyf yn
Mat. 15, dywedyd etto yr awron, Os efengyla neb i chwi amgen
20 na'r hyn a dderbyniasoch, bydded anathema.
10 Yr awron ai annog [derbyn] dynion, ynte Duw
yr wyf i? neu ai ceisio yr wyf i ryngu bodd dynion?
canys os etto y rhyngwn fodd dynion, ni fyddwn was
i Grist.
11 Weithian frodyr, yr wyf yn yspysu i chwi, am yr
Efengyl a bregethais, nad dynol oedd hi.
o 1 Tim. 3 12 o Canys nid gan ddyn y derbyniais hi, nac i'm
15 2 Cor. 12 dyscwyd, eithr trwy ddadguddiad Iesu Grist.
3 13 p O herwydd chwi a glywsoch pa wedd yr ym-
p 1 Cor. 6 ddugym i gynt yn y ddeddf Iddewig, fel yr erlidiais i
10 eglwys Dduw yn dra rhagorol, ac yr anrheithiais hi:
q Rhuf. 10 14 q Ac y llwyddais yn yr Iddewig ddeddf yn fwy na
2 1 Tim. 1 llawer o'm cyfoedion yn fyng-henedl fy hun, gan fod
13 yn dwyn mwy zel i draddodiadau fy nhadau.
15 Ond er cynted ac y gwelodd Duw yn dda, yr hwn
a'm dewisodd i o groth fy mam, ac a'm galwodd i drwy
ei ras ef,
r Mat. 16 16 r I ddadguddio ei Fab ef trwof fi, fel y pregethwn
17 ef ymhlith y cenhedloedd, yn gyflym nid ymgynghor-
ais â chig a gwaed:
s 1 Cor. 15 17 s Ac nid aethym yn fy ol i Ierusalem at y rhai oedd-
9 ynt o'm blaen i yn apostolion, ond mi a aethym i Arab-
ia, ac a ddychwelais eil-waith i Ddamascus.
18 Ac wedi tair blynedd y daethym yn fy ol i Ieru-
salem i ymweled â Phetr, ac a arhôais gyd ag ef bymthec
diwrnod.
t Act. 15 19 t Ac ni welais yr un arall o'r apostolion, ond Iaco
13 Mat. 13. 6 brawd yr Arglwydd.
u Rhuf. 9 20 u Ac am y pethau yr wyf yn eu scrifennu attoch,
1 v Act. 10 wele, ger bron Duw, nid wyf yn dywedyd celwydd.
34 Rhuf. 15 21 v Yna y deuthym i derfynau Syria, a Cilicia.
19 22 w Canys ni'm adwaenid wrth [fy] wyneb yn eg-
w Rhuf. 16, 17 lwysi yr Iddewon, y rhai oeddynt yng-Hrist.
1 Thes. 1 23 x Ond yn unic hwy a glywsent yr un oedd gynt
1 x Diar. 31 yn ein herlid, yr awron y mae yn pregethu y ffydd,
31 yr hon y bu o'r blaen yn ei hanrheithio.
Mat. 14, 1 y Act. 11 24 y Ac a ogoneddasent Dduw o'm plegit i.

## PEN. II.

18 Luc 15, 10 *Yng-hylch swydd yr Apostoliaeth, ac enwaediad. 11 Yr ymryson rhwng Paul a Phetr. 16 Athrawiaeth am ffydd, a gweithredoedd da, a'r ddeddf.*

YNA wedi pedair blynedd ar ddêc, yr aethym i
fynu eil-waith i Ierusalem, gyd â Barnabas, gan
Act. 15 gymmeryd Titus hefyd.
2 z A thrwy weledigaeth yr euthym i fynu, ac mi a
Cor. 9 eglurais iddynt yr Efengyl yr hon yr wyf yn ei phre-
6 gethu ym mhlith y cenhedloedd: ond yn ddirgel i'r
rhai cymmeradwy, rhag mewn un modd y rhedwn
neu y rhedaswn yn ofer.
3 Eithr Titus yr hwn oedd gyd â mi, er ei fod yn
2 Cor. 11 Groeg-wr, ni yrrwyd i'w enwaedu:
Act. 15, 10 4 a A [hynny] o herwydd y gau frodyr, y rhai a ym-
sangasent i mewn, y rhai a ddaethent i spio ein rhydd-
did ni, yr hon sydd gennym yng-Hrist Iesu, fel ein
harweinient i gaethiwed:
5 I ba rai nid ymroesom trwy ddarostyngedigiad
[ennyd] awr, fel yr arhoe gwirionedd yr Efengyl gyd
â chwi:
6 b A chan y rhai a dybid eu bod yn rhyw beth (beth b 1 Thes.
bynnag oeddynt nid gwaeth gennif, nid yw Duw yn 5, 13
derbyn wyneb dyn) canys y rhai a'u gwelent [eu hun
yn bennaf] ni chwanegasant ddim i mi.
7 c Eithr yng-wrthwyneb, pan welsant ymddyried i c Rhuf. 2
mi am Efengyl y dienwaediad, megis yr enwaediad 26
i Petr:
8 d (Canys yr hwn oedd rymmus trwy Petr yn apos- d 1 Cor. 3
toliaeth yr enwaediad, oedd rymmus hefyd drwof fi 7
yng-hyfer y cenhedloedd.) Rhuf. 15, 18
9 e A phan wybu Iaco, a Chephas, ac Ioan y grâs a e Dat. 3
roddwyd i mi, y rhai yr ydys yn eu cymmeryd yn 11 Rhuf. 1, 5
golofnau, hwy a roesant i mi, ac i Barnabas ddeheu a 12, 3
ddwylo cymdeithas, i [bregethu] o honom ni i'r cen-
hedloedd, a hwythau i'r enwaediad:
10 f Ac i ni feddwl am y tlodion yn unic, yr hyn yr f Rhuf. 15
ymroddais iw wneuthur. 27
11 A phan ddaeth Petr i Antiochia, mi a'i gwrth-
wynebais yn ei wyneb, am ei fod iw feio.
12 g Oblegit cyn dyfod rhai oddi wrth Iaco, efe a g Act. 10
fwytâodd gyd â'r cenhedloedd, ond wedi iddynt ddy- 28
fod, efe a giliodd, ac a ymneillduodd oddiwrthynt, a 11, 3
gan ofni y rhai oeddynt o'r enwaediad.
13 h A'r Iddewon eraill a gyd-ragrithiasant ag ef, h 1 Petr 5,
hyd oni hudwyd Barnabas i'w lledrith hwy hefyd. 3
14 Eithr pan welais nad oeddynt hwy yn troedio yn
iniawn at wirionedd yr Efengyl, mi a ddywedais wrth
Petr yn eu gŵydd oll, Os tydi, a thi yn Iddew wyt yn
byw fel y cenhedloedd, ac nid fel yr Iddewon, pa
ham yr wyt yn peri i'r cenhedloedd fyw yn Iddewaidd.
15 i Ny-ni yn Iddewon o naturiaeth, ac nid yn bech- i Rhuf. 3
aduriaid o'r cenhedloedd, yn gwybod na chyfiawn- 28
heuir dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond drwy Eph. 2, 11
ffydd yn Iesu Grist:
16 j Ie, nyni a gredasom yn Iesu Grist, fel i'n cyf- j Rhuf. 3
iawnid trwy ffydd Crist, ac nid trwy weithredoedd y 20
ddeddf, o blegit na chyfiawnheuir un cnawd trwy
weithredoedd y ddeddf.
17 k Ac os wrth geisio ein cyfiawnhau trwy Grist ein k Rhuf. 3
cair ni yn bechaduriaid, a ydyw Crist am hynny yn 4
weinidog pechod? nac ydyw. Tit. 2, 11
18 Canys os adeiladaf eil-waith y pethau a ddestruw-
iais, yr wyf yn fyng-wneuthur fy hun yn drosedd-wr.
19 l O herwydd myfi trwy y ddeddf, wyf farw i'r l Rhuf. 8
ddeddf, i fyw o honof i Dduw. 3 1 Cor. 7
20 m Mi a groeshoeliwyd gyda Christ: etto byw yd- 22
wyf, ac nid myfi haiach, ond Crist sydd fyw ynofi, a'r m Rhuf. 6
bywyd yr hwn yr wyf yn byw yr awr hon yn y cnawd, 6
yr wyf yn [ei] fyw trwy ffydd ym Mab Duw, yr hwn
a'm carodd, ac a'i dodes ei hun drosofi.
21 n Ni ddirymmaf ras Duw: canys os trwy y ddeddf n Rhuf. 4
y mae cyfiawnder, yna y bu Crist farw yn ofer. 4, 5

## PEN. III.

*Paul yn dangos drwy resymmau fod cyfiawnder enaid drwy ffydd.*

OH o y Galatiaid angall, pwy a'ch rheibiodd, fel nad o Eph. 4
ufuddhaech i'r gwirionedd, i ba rai y portreiad- 14
wyd Iesu Grist o flaen eich llygaid, [ac] a'i croes- Pen. 2, 5
hoelwyd yn eich plith?

p Pen. 3 2 2 p Hyn yn unig a ewyllysiaf ddysgu gennwch, ai
Rhuf. 10 wrth weithredoedd y ddeddf y derbyniasoch yr Ys-
16 pryd, ynte trwy wrandawiad y ffydd?
3 A ydych chwi mor angall, wedi dechreu yn yr
Yspryd, a diweddu yr awron yn y cnawd?
4 A ddioddefasoch chwi gymmaint yn ofer? (os yw
ofer hefyd)
q Mat. 28 5 q Gan hynny, yr hwn sydd yn trefnu i chwi yr Ys-
18 1 Cor 12 pryd, ac yn gwneuthur gwyrthiau yn eich plith, ai o
10 weithredoedd y ddeddf [y mae efe,] ynte o wrandaw-
iad ffydd?
6 r Megis y credodd Abraham i Dduw, ac y cyfrif-
r Gen 15 6 wyd iddo yn gyfiawnder.
s Rhuf 3 7 s Felly gwybyddwch mai y rhai sy o'r ffydd, y rhai
28 Ioan 8,39 hyn yw plant Abraham.
t Rhuf 3 8 t Canys yr Scrythur yn gweled o'r blaen y cyfiawn-
13 haue Duw y cenhedloedd drwy ffydd, a ddywedodd
o'r blaen i Abraham [fel hyn,] Ynot ti y bendithir y
u Sal 22, cenhedloedd oll.
2 9 u Ac felly, y rhai sy o'r ffydd a fendithir gyd âg
v Rhuf 10 Abraham ffyddlawn.
5 Deut 27 10 v Canys cynnifer bynnac sydd o weithredoedd y
26 ddeddf, y maent dan y felldith, canys scrifennedic yw,
Melldigedic yw pob un nid erys yn yr holl bethau a
w Heb 10 scrifennir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt.
38 11 w Ac eglur yw, na chyfiawnheuir neb trwy y
ddeddf yng-olwg Duw, canys y cyfiawn fydd byw
trwy ffydd.
12 A'r ddeddf nid yw o ffydd, eithr y dyn a wnel y
x Mat 20 pethau hynny a fydd byw ynddynt.
28 Mat 1,21 13 x Ond Crist a'n prynodd rhag melldith y ddeddf, pan
Heb 7, wnaed ef yn felldith trosom, canys y mae yn scrifenedic,
22 Melldigedic yw pob un sydd yng-hrog ar bren.
14 Fel y dele bendith Abraham i'r cenhedloedd trwy
Grist Iesu, ac y derbyniem addewid yr Yspryd trwy
ffydd.
15 Y brodyr, dywedyd yr wyf ar wedd ddynol, cyd
na byddo ond ammod dyn, wedi y cadarnhauir, ni
ddirymma neb ef, ac ni ddyry [ddim] wrtho.
y 2 Cor 1 16 y I Abraham y gwnaethbwyd yr addewidion, ac
20 Luc 3,23 i'w hâd ef: ni ddywedodd, Ac i'th hadau, megis am
24 lawer, ond i'th hâd megis am un yr hwn yw Crist.
z Gen 12 17 z Hyn yr wyf yn ei ddywedyd, am y ddeddf yr
2 a 15,18 hon oedd bedwar-cant a deng-mhlynedd ar hugain
wedi, na ddichon ddiddymmu yr ammod a sicrhause
Duw o'r blaen o herwydd Crist, fel y dirymme yr add-
ewid.
a Rhuf 4 18 a Canys os o'r ddeddf [y mae] etifeddiaeth, nid yw
13 a 6,23 haiach o'r addewid, ond Duw a'i rhoddes yn rhad i
Abraham drwy 'r addewid.
19 Beth gan hynny [yw 'r] ddeddf? o blegit cam-
weddau y doded hi, oni ddele yr hâd i'r hwn y gwnaeth-
id yr addewid: ac hi a drefnwyd gan angelion drwy
law cyfryng-wr.
20 Sef cyfryng-wr nid yw i un, ond Duw sydd un.
b Eph 2 21 b Gan hynny a ydyw y ddeddf yn erbyn addewid-
1 Rhuf 8,3 ion Duw? na atto Duw: canys pe rhoesid deddf a
allase roddi bywyd, yn wir fe fuase cyfiawnder o'r
ddeddf.
c Rhuf 3 22 c Eithr yr scrythur a gaeodd bob peth dan bech-
23 Ioan 3,16 od, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd yn Iesu Grist
i'r rhai a gredent.
23 Eithr cyn dyfod ffydd, ein cadwid yn rhwym dan
y ddeddf, i'r ffydd yr hon oedd i'w dadcuddio.
24 d Y ddeddf wrth hynny oedd ein hathro ni at d Rhuf 9 4
Grist, fel ein cyfiawnid drwy ffydd. Mat 11
25 Eithr wedi dyfod ffydd, nid ydym ni mwy haiach 13
tann athro.
26 Canys chwi oll ydych blant i Dduw drwy ffydd
yn Iesu Grist.
27 e O herwydd pa rai bynnac ydych a'r a fedydd- e Rhuf 2
iwyd yng-Hrist, chwi a wiscasoch Grist. 29
28 f Nid oes nac Iddew na Groeg-wr, nid oes na f Act 10
chaeth na rhydd, nid oes na gwryw na benyw, canys 34
un ydych oll yng-Hrist Iesu.
29 g Ac os eiddo Crist ydych, yna yr ydych yn hâd g Heb 11
i Abraham, ac yn etifeddion i'r addewid. 9

## PEN. IV.

*Cyscodion ac arwyddion yn terfynu pan ddaeth Crist,*
*9 Cyngor i ymadel â hen goelion, 15 Rhesymmau am an-*
*wadalwch y Galatiaid, 22 Dammeg o'r wraig rydd a'r*
*wraig gaeth.*

HYN h yr wyf yn ei ddywedyd, Tra fyddo yr eti- h Pen 3
fedd yn fachgen nid oes gwahaniaeth rhyngddo 24
a gwâs, er ei fod yn arglwydd pob dim:
2 i Eithr y mae efe tann ymgeledd-wŷr, a llywod- i Mat. 20 8
raeth-wŷr hyd yr amser a osodes y tad. Luc 12,
3 Ac felly ninnau, tra fuom fechgyn yr oeddym 42 a 16,1
gaethion tann wyddorion y byd.
4 j Eithr wedi dyfod cyflawnder yr amser yr anfon- j Luc 1 31
odd Duw ei Fab wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei 2 Cor. 5,
wneuthur tann y ddeddf, 21
5 Fel y galle brynu y rhai oeddynt tann y ddeddf,
fel y caem dderbyn mabwriaeth.
6 k Ac o herwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd k 2 Cor. 1
Duw Yspryd ei Fab i'ch calonnau, gan lefain, Abba, 22 Rhuf. 8
y Tad. 15
7 Ac felly nid wyt mwy yn was ond yn fab, ac os
mab, etifedd hefyd i Dduw trwy Grist.
8 Ond tra fuoch heb adnabod Duw, y gwasanaeth-
asoch y pethau nid ydynt dduwiau wrth naturiaeth. l Mat. 16
9 l Ac yn awr a chwi yn adnabod Duw, ie yn hytrach 17
yn gydnabyddus gan Dduw, pa wedd yr ydych yn 2 Pedr 2
troi eil-waith at lesc wyddorion tlodion, y rhai y myn- 21
nwch drachefn ymgaethiwo iddynt o newydd.
10 Cadw yr ydych ddiwrnodau, a misoedd, ac am-
seroedd, a blynyddoedd.
11 m Y mae arnaf ofn am danoch, rhag darfod i mi m 2 Cor.
boeni wrthych yn ofer. 11, 2
12 Byddwch fel fy-fi, canys yr wyf fel chwi, y bro-
dyr, attolwg i chwi: ni wnaethoch i mi ddim cam.
13 n A chwi a wyddoch mai trwy wendid y cnawd, n 2 Cor. 11
yr efengylais i chwi y waith gyntaf. 30
14 o A'r profiad o honof yr hyn oedd yn fyng-nhawd o Act. 23
ni ddirmygasoch, ac ni wrthodasoch: eithr chwi a'm 19
derbyniasoch fel angel Duw, fel Crist Iesu.
15 p Beth (wrth hynny) yw eich dedwyddwch chwi? p Rhuf 10
canys tystio yr wyf i chwi, pe buase bossibl y tynnas- 15
ech eich llygaid, ac y rhoesech i mi.
16 A aethym i gan hynny yn elyn i chwi wrth ddy-
wedyd i chwi y gwir?
17 q Y maent hwy ar gam yn eiddigus drosoch, hwy q 1 Cor 11
a fynnent ein caeu ni allan, fel y dygech serch iddynt 13 2 Pedr 2
hwy. 2
18 Eithr peth da yw, dwyn serch yn oestadol mewn
peth da, ac nid yn unic pan fwyf wydd yng-wŷdd â chwi,

PEN. III, Adn. 6] "Cyfrifwyd." Os cyfrifwyd i Abraham dduwiol, Pa ham y gwawdir cyfiawnder cyfrifol! Adn. 11. "Na chyfiawnheir." Gan na 's gallwn gyrraedd cyfiawnder y ddeddf; derbyniwn ras yr efengyl.

r1Cor. 4 15. 19 r Fy mhlant bychain y rhai yr wyf fi yn eu hail es-
cor, hyd oni ffurfer Crist ynoch :
s Esa. 38 1 20 s Ac mi a fynnwn pe bawn yn awr gyd â chwi, a
newidio fy llais, o herwydd yr wyf yn ammau o ho-
noch.
21 Dywedwch i mi y rhai a fynnwch fod dan y
ddeddf, oni chlywch y ddeddf?
t Gen. 16 1 Gen.21,3 22 t Canys y mae yn scrifennedic fod i Abraham
ddau fab, un o'r wasanaeth-wraig, ac un o'r [wraig]
rydd.
u Rhuf 9 8 23 u Eithr hwn oedd o'r wasanaeth-wraig a aned yn
ol y cnawd: a hwn oedd o'r wraig rydd [a aned] o
herwydd yr addewid.
v Esa.19,1 24 v Y pethau hyn a arwyddocâant beth arall : sef y
rhai hyn ynt y ddau destament : un yn ddiau, hon yw
Agar o fynydd Sina sydd yn cenhedlu i gaethiwed :
w Gen. 21 12 25 w Canys Agar yw Sina mynydd yn Arabia, ac y
mae yn cyfatteb i Ierusalem yr hon sydd yn awr, ac y
Act.15,10 mae yn gaeth hi a'i phlant.
x Heb. 12 22 26 x Eithr Ierusalem honno uchod sydd rydd, hon
Ioan 8,36 yw ein mam ni oll.
y Esa. 54 1 27 y Canys scrifennedic yw, Llawenha di y ddieppil
Mat.8,11 yr hon nid wyt yn planta: torr allan a llefa, yr hon
nid wyt yn escor, canys i'r ddiwriog y mae llawer mwy
o blant nag i'r hon y mae iddi wr.
28 Ninneu frodyr ydym yn blant yr addewid un
wedd ac Isaac.
z Gen. 21 9 29 z Eithr megis y pryd hynny, hwn a aned yn ol y
cnawd a erlidie 'r hwn [a aned] yn ol yr Yspryd, felly
y mae yr awrhon.
a Gen. 21 10 30 a Ond pa beth a ddywed yr scrythur? Bwriwch
allan y wasanaeth-wraig a'i mab, canys ni bydd mab y
wasanaeth-wraig yn ettifedd gyda mab y wraig rydd.
31 Felly frodyr, nid ydym ni blant i'r wasanaeth-
wraig, ond i'r wraig rydd.

## PEN. V.

*Yng-hylch enwaediad. 13 Cariad perffaith. 19 Gweithredoedd y cnawd. 22 A gweithredoedd yr Yspryd.*

SEFWCH yn y rhydd-did y rhyddhaodd Crist ni,
ac na rwyder chwi eil-waith dann iau caethiwed.
b Rhuf.10 3 2 b Wele, myfi Paul wyf yn dywedyd wrthych, Os
enwaedir chwi, ni les-ha Crist ddim i chwi.
3 Canys yr wyf yn tystio trachefn i bob dyn a'r a en-
waedir, ei fod ef yn rhwymedic i gadw yr holl ddeddf.
c Rhuf. 3 20 4 c Chwi a aethoch yn ofer oddi wrth Grist, pwy
1 Pedr 1 bynnac ydych yn ymgyfiawnhau yn y ddeddf a syrth-
5 iasoch oddi wrth y gras.
5 Canys nyni yn yr Yspryd drwy ffydd ydym yn
disgwil gobaith cyfiawnder,
d Rhuf. 3 30 6 d O herwydd yng-Hrist Iesu ni fuddie enwaediad
ddim, na dienwaediad, ond ffydd yn gweithio trwy
gariad.
e Mat. 13 21 7 e Rhedasoch yn dda: pwy a'ch rhwystrodd, fel
Ioan6,66 nad ufuddhaech i'r gwirionedd?
8 Nid yw y cyngor hyn o'r neb sydd yn eich
galw.
9 Ychydig lefein a sura yr holl does.
f Cor. 10 11 10 f Y mae gennif obaith o honoch drwy yr Argl-
Act.15, 1 wydd, na fydd ynoch ddim meddwl amgen, eithr y
neb sydd i'ch trallodi chwi, a ddwg farnedigaeth, pwy
bynnac fyddo.
11 Os myfi (frodyr) sydd yn pregethu 'r enwaediad,
pa ham yr ydys etto i'm herlid? felly y tynnwyd ym-
maith tramgwydd y groes.
g Mat. 18 12 g Och [Dduw] na thorrid ymmaith y rhai a'ch af-



lonyddant.
13 h Canys chwi a alwyd i rydd-did frodyr, yn unic h1Pedr 2 16
nac [arferwch eich] rhydd-dyd yn achlysur i'r cnawd,
ond gwasanaethwch ei gilydd trwy gariad.
14 Canys y ddeddf oll a gyflawnir yn yr un gair,
hwn: Ceri dy gymmydog fel ti dy hun.
15 Os cnoi a wnewch, a thraflyngcu ei gilydd, mo-
gelwch rhag eich difa gan ei gilydd.
16 Hyn meddaf, Rhodiwch yn yr Yspryd, ac na
chyflawnwch a chwennycho y cnawd.
17 i Canys y mae y cnawd yn chwennych yn erbyn i Rhuf. 8 1
yr Yspryd, a'r Yspryd hefyd yn erbyn y cnawd, a' 1 Ioan 2
rhai hyn a wrthwynebant ei gilydd, fel na alloch 16 j Rhuf. 7
wneuthur beth bynnac a ewyllysioch. 19
18 Os gan yr Yspryd i'ch arweinir, nid ydych tann
y ddeddf.
19 k Hefyd amlwg yw gweithredoedd y cnawd, y k Esa.3,9
rhai ynt, torri priodas, godineb, aflendid, digywilydd- 1Cor.5,1
dra,
20 Addoliad eulynnod, swyn-gyfaredd, casineb, llid,
gelyniaeth, digofaint, ymrysonau, terfyscau, heresi,
21 l Cenfigennau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfedd- l Rhuf.13
ach, a'r cyffelyb pethau hyn, y rhai yr wyfi yn rhag- 13 Dat. 21,
ddywedyd wrthych fel y dywedais yn y blaen, y rhai 27
a wnant y fath bethau nad etifeddant deyrnas Dduw.
22 m Eithr ffrwyth yr Yspryd yw cariad, llawenydd, m Mat. 3
tangneddyf, ymaros, cymwynascarwch, daioni, ffydd, 8 Ioan 15.8
mwynedd-dra, dirwest.
23 Yn erbyn y cyfryw, nid oes deddf.
24 n Canys y rhai sydd eiddo Crist, a groeshoeliasant n Col.3, 5
y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau. Mat. 16,2
25 Os byw yr ydym i'r Yspryd, rhodiwn hefyd yn yr
Yspryd.
26 o Nac awn yn wag orfoleddus gan ymannog ei o Ioan 9
gilydd, ac ymgenfigennu wrth ei gilydd. Luc 14,7

## PEN. VI.

*Cyngor i gyd-ddwyn â'i gilydd, i gydnabod o bob un ei fai ei hun, ac i wneuthur daioni. 11 Ac addysc am yr enwaediad, ac am ddioddefaint Crist.*

YR p BRODYR, er dala dyn ar ryw fai, chwychwi p 2Sam.
y rhai sy ysprydol cymhwyswch y cyfryw ddyn 11, 2 2 Cor. 10
ag yspryd mwyneidd-dra, gan ystyried rhag dy dem- 2
tio dy hunan hefyd.
2 q Dygwch feichiau ei gilydd, ac felly cyflawnwch q Rhuf.15
gyfraith Crist. 1 Ioan 13
3 O blegit os tybia neb ei fod yn rhyw beth, ac yn- 34
tef heb fod yn ddim, y mae efe yn ei ddwyn ei hun i
gam-feddwl.
4 r Eithr profed pob un ei waith ei hun, ac yna y r 1Cor. 11
caiff orfoledd ynddo ei hun, ac nid mewn arall. 28
5 Canys pawb a ddwg ei faich ei hun. 2Cor.1 19
6 s A'r neb a ddyscwyd yn y gair, cyfranned o'i dda s Mat 10
oll, a'r hwn a'i dyscodd ef. 10
7 Na thwyller chwi, ni watwarir Duw: canys pa
beth bynnac a hauo dyn, hynny a fed efe.
8 Canys yr hwn a haua i'w gnawd ei hun o'r cnawd
y meda lygredigaeth: eithr hwn a hauo i'r yspryd, o'r
yspryd y mêd fywyd tragywyddol.
9 Hefyd na ddiogwn yn gwneuthur daioni: canys
yn ei iawn bryd y medwn oni ddeffygiwn.
10 t Am hynny tra fyddo i ni amser, gwnawn dda i t Eph.5 16
bob dyn, ac yn enwedic i'r rhai sy o deulu y ffydd. Luc 16,
11 Gwelwch cyhŷd y llythr a scrifennais attoch â'm 37
llaw fy hun. u 1Cor.11 13
12 u Cynnifer a ewyllysiant ymdeghau yn y cnawd, 1Cor.2,2

sydd yn eich cymmell i'ch enwaedu, yn unic fel nad
erlidier hwy o blegit croes Crist.
v Act. 20 30 13 v Canys nid ydynt hwy eu hunain y rhai a en-
waedir, yn cadw y ddeddf: ond hwy a ewyllysient
eich enwaedu chwi, fel y gorfoleddent yn eich cnawd
chwi.
w 1Cor.2 2 14 w Na atto Duw i mi orfoleddu ond yng-hroes ein
1Cor 4,18 Harglwydd Iesu Grist, drwy yr hwn y croes-hoeliwyd
y byd i mi, a minne i'r byd.

15 x Canys ni thal enwaediad ddim yng-Hrist Iesu, x 2Cor.5 17
na dienwaediad, ond creadur newydd. y Rhuf. 5 1
16 y A phwy bynnac a rodiant ar ol y rheol hon,
tangneddyf arnynt a thrugaredd, ac ar Israel Duw.
17 z O hyn allan na flined neb fi: canys dwyn yr wyf z 2Cor.11 23
yn fyng-horph nodau 'r Arglwydd Iesu.
18 a Y brodyr, gras ein Harglwydd Iesu Grist gyd a Rhuf.16 24
â'ch yspryd. Amen.

Y llythr hwn *a scrifennwyd at y Galatiaid o Rufain*

---

# EPISTOL PAUL

## AT YR

# EPHESIAID.

---

## PENNOD I.

*Paul yn annerch yr eglwys. 3 Yn bendithio Duw am ei rad yng-Hrist Iesu, ac yn bennaf am weithredoedd ein iechydwriaeth. 15 Ac am eu ffydd hwy. 19 Gan ddangos godidogrwydd gallu Duw.*

PAUL Apostol Iesu Grist, trwy ewyllys Duw, at y
sainct y rhai sy yn Ephesus, a'r ffyddloniaid yng-
Hrist Iesu,
a Phil. 4, 7 2 a Gras [fyddo] i chwi, a thangneddyf gan Dduw ein
Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
b 1Pedr 1 4 3 b Bendigedic [fyddo] Duw, a Thad ein Harglwydd
Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd mewn nefolion
Ioan 1, 16 [bethau] yng-Hrist, â phob bendith ysprydol,
c Rhuf. 8 29 4 c Megis yr etholodd nyni ynddo ef, cyn seiliad y
Ioan 15, 16 byd, fel y byddem yn sanctaidd, ac yn ddifeius ger ei
fron ef mewn cariad:
d Mat. 11 26 5 d Yr hwn a'n rhagluniaethodd ni i fabwysiad iddo
ei hun trwy Iesu Grist yn ol bodlonrwydd ei ewyllys,
6 e Er mawl i ogoniant ei ras ef, trwy yr hwn y
e Mat. 3 17 gwnaeth ni yn gymmeradwy iddo yn yr [hwn sydd]
annwyl,
f 1Pedr 1 18 7 f Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed
Heb. 9, 12 ef: [sef] maddeuant pechodau yn ol cyfoeth ei ras ef:
8 Trwy yr hwn y bu efe helaeth i ni ym mhob doeth-
ineb, a deall,
g Mat. 13 11 9 g Gan yspysu i ni ddirgelwch ei ewyllys yn ol ei
fodlonrwydd ei hun, yr hon a arfaethase ynddo ei hun:
h Gal. 4, 4 10 h I grynhoi yng-Hrist yng-orchwyliaeth cyflawn-
Phil. 2 13 der yr amseroedd y pethau oll y rhai ydynt nac yn y
nefoedd, nac ar y ddaiar.
i Phil. 2 13 11 i Ynddo ef yn yr hwn ein dewiswyd pan ein rhag-
luniaethwyd yn ol arfaeth yr hwn sydd yn gweithio
pob dim oll wrth gyngor ei ewyllys ei hunan:
12 Fel y byddo i ni (y rhai a obeithiasom yn gyntaf
yng-Hrist) gael bod yn fawl i'w ogoniant ef:
j Ioan 17 17 13 j Yn yr hwn [y gobeithiasoch] chwithau hefyd,
2Cor. 1 21 drwy glywed gair y gwirionedd, Efengyl eich iechyd-
wriaeth, yn yr hwn hefyd wedi i chwi gredu eich sel-
iwyd trwy lân Yspryd yr addewid:
k 1Pedr 3 9 14 k Yr hwn yw gwystl ein etifeddiaeth, i orescyn
rhydd-did er mawl i'w ogoniant ef.
l Philem 5 15 l O herwydd pa ham minne hefyd, wedi i mi
glywed am y ffydd yr hon [sydd] gennwch yn yr Ar-
glwydd Iesu, a'r cariad ar yr holl sainct,
16 Nid wyf yn peidio a diolch trosoch gan eich coffa
yn fyng-weddiau,
17 m Ar i Dduw ein Arglwydd Iesu Grist, Tad y go- m Act. 7 2
goniant, roddi i chwi Yspryd doethineb a dadcuddiad Col. 1, 9
i'w gydnabod ef. 26
18 n Trwy oleuo golwg eich calon fel y gwypoch n Act. 16
beth yw gobaith ei alwedigaeth ef, a pheth yw golud 14 1 Pedr 1
ei etifeddiaeth ef yn y sainct, 34
19 A pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef ynom ni
y rhai ydym yn credu, o herwydd gweithrediad nerth
ei gadernid ef.
20 o Yr hon a weithiodd efe yng-Hrist pan ei cyfododd o Pen. 2 5
ef o feirw, ac a'i dododd ar ei ddeheulaw yn y nefoedd, Rhuf. 1, 4
21 p Goruwch pob tywysogaeth, ac awdurdod a p Rhuf. 8
gallu, ac arglwyddiaeth, a phob enw a'r a enwir, nid 38
yn y byd hwn yn unic, ond yn yr hwn sydd ar ddy- Phil. 2, 9
fod hefyd:
22 q Ac a ddarostyngodd bob peth tann ei draed ef, q 1Cor. 15
ac a'i gosodes ef yn ben ar bob dim i'w eglwys, 26
23 r Yr hon yw ei gorph ef, ei gyflawnder ef, yr hwn r Ioan 1,
sydd yn cyflawni oll yn oll. 16

## PEN. II.

*Yr ydys yn mawrhau gras Crist gan ddangos beth ydym ni hebddi, a pha beth ydym ni trwyddi hi.*

A CHWITHAU pan oeddych feirw mewn camwedd-
au a phechodau, [a fywhaodd efe,]
2 s Yn y rhai y rhodiasoch gynt yn ol helynt y byd s 1Cor. 6
hwn, ac yn ol y tywysog yr hwn y mae iddo lywod- 11 2 Cor. 4
raeth yn yr awyr [sef] yr yspryd sydd yr awron yn 34
gweithio ym mhlant anufudd-dod,
3 t Ym mysc pa rai y rhodiasom ni gynt oll hefyd t Gal. 5, 16
mewn trachwantau ein cnawd, gan wneuthur deisyf- Job 14, 4
iadau y cnawd, a'r meddyliau, ac oeddym wrth natur-
iaeth yn blant digofaint fel eraill:
4 Eithr Duw yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, o
herwydd ei fawr gariad trwy yr hwn ein hoffodd ni,
5 u Ie, pan oeddem feirw mewn pechodau, a'n cyd- u 2Cor. 5
fywhaodd ni â Christ, trwy ras [yr hwn] yr ydych yn 17 Rhuf. 6
gadwedig, 23
6 Efe a'n cyd-gyfododd, ac a wnaeth i ni gyd-eistedd
yn y nefoedd, yng-Hrist Iesu,
7 Fel y galle ddangos yn yr oesoedd a ddelent rag-
orol olud ei ras ef, trwy ei gymmwynasgarwch i nyni
yng-Hrist Iesu.

v Rhuf. 3 24. a 10, 10 8 [v] Canys o ras yr ydych yn gadwedig trwy ffydd, a'
hynny nid o honoch chwi, rhodd Duw ydyw,
9 Nid o weithredoedd, rhag i neb orfoleddu.
w 2Cor. 5 10 [w] Canys ei waith ef ydym, wedi ein creu yng-Hrist
17 Tit. 2, 14 Iesu i weithredoedd da, y rhai a ddarparodd Duw i ni
i rodio ynddynt.
x 1Cor. 6 11 [x] Am hynny cofiwch eich bod gynt yn genhedl-
11 Rhuf. 2, 28 oedd yn y cnawd, y rhai a elwid yn ddienwaediad,
gan yr hyn a elwir enwaediad yn y cnawd o waith
llaw.
y Ioan 14 6 12 [y] Gan eich bod chwi y pryd hynny heb Grist, ac
yn ddieithriaid i wladwriaeth Israel, ac yn estroniaid i
ammodau yr addewid, heb obaith gennych, ac heb
Dduw yn y byd.
z 1Cor. 6 11 13 [z] Eithr yr awron yng-Hrist Iesu y rhai oeddych
gynt yn bell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist.
14 Canys efe yw ein tangneddyf ni, yr hwn a wnaeth
y ddwy-blaid yn un, ac a ddatododd y canol-gae ter-
fyn.
a Heb. 9 15 [a] Gan ddirymmio drwy ei gnawd ef y gelyniaeth,
b Pen. 4, 24 [sef] deddf y gorchymynnion yn yr ordeiniadau, i
wneuthur y ddau yn un dyn newydd ynddo ei hun,
gan wneuthur heddwch,
16 Ac fel y cymmode y ddau â Duw yn yr un corph
drwy ei groes gan ladd y gelyniaeth â hi.
b Ioan 10 17 [b] A phan ddaeth, efe a bregethodd dangneddyf i
16 Rhuf. 10 chwi, y rhai oeddych yn bell, ac i'r rhai oeddynt yn
15 agos:
c Rhuf. 5 18 [c] O blegit trwyddo ef y mae i ni ein dau gan yr
2 Heb. 4, 15 un Yspryd ddyfodfa at y Tad.
16 19 Weithian gan hynny nid ydych chwi mwy yn
ddieithriaid na dyfodiaid, ond yn gyd-ddinasyddion
â'r sainct, ac yn deulu Duw.
d Mat. 16 20 [d] Wedi eich adailadu ar sail yr apostolion, a'r
18 prophwydi, o'r hyn y mae Iesu Grist ei hun yn ben
congl-faen.
21 Yn yr hwn y mae yr holl adeilad wedi ei chyd-
gysylltu yn cynnyddu yn deml sanctaidd i'r Argl-
wydd.
e Dat. 21 22 [e] Yn yr hwn eich cyd-adailadwyd chwithau yn
3 Ioan 14 bresswylfa i Dduw trwy yr Yspryd.
23

## PEN. III.

*Yng-hylch ei garchar, a'i weinidogaeth. Gweddi Paul tros yr Ephesiaid.*

ER mwyn hyn yr wyf i Paul yn garcharor Iesu Grist
trosoch chwi y cenhedloedd,
2 Os clywsoch am orchwyliaeth gras Duw yr hon a
roddwyd i mi tu ag attoch chwi:
f 1Cor. 15 3 [f] Canys trwy weledigaeth yr yspysodd efe y dirgel-
1 wch hwnnw i mi (megis yr scrifennais o'r blaen ar ych-
ydig [eiriau,]
4 Wrth yr hyn pan ddarllenoch y gellwch wybod fy
neall yn nirgelwch Crist.)
g Mat. 13 5 [g] Yr hwn yn oesoedd eraill ni's eglurwyd i feibion
17 Heb. 3, 2 dynion, fel y mae yr awron wedi ei ddatguddio i'w
3 sanctaidd apostolion a phrophwydi trwy 'r Yspryd
Glân,
6 Bod y cenhedloedd yn gyd-etifeddion hefyd, ac yn
gyd-gorph, ac yn gyfrannogion o'i addewid ef yng-
Hrist trwy yr Efengyl,
7 I'r hon i'm gwnaed i yn weinidog trwy roddiad
gras Duw, yr hwn a roddwyd i mi trwy nerth ei fedd-
iant ef
h 1Cor. 15 8 [h] I mi y lleiaf i gyd o'r holl sainct y dodwyd y gras
9 hyn, i efengylu ym mysc y cenhedloedd anchwiliadwy
olud Crist,
9 [i] Ac i egluro i bawb beth yw cymdeithas y dirgel- i Act. 26
wch yr hwn oedd guddiedic, o ddechreuad y byd yn 18
Nuw, yr hwn a wnaeth bob peth trwy Iesu Grist. Col. 1, 26
10 [j] Fel y byddo yr awron yn yspysol trwy yr eglwys j 1Pedr 1
i'r tywysogaethau a'r awdurdodau yn y nefolion [beth- 12
au] amryw fath wybodaeth Duw,
11 Yn ol yr arfaeth dragywyddol yr hon a weith-
iodd efe yng-Hrist Iesu ein Harglwydd,
12 [k] Yn yr hwn y mae i ni rydd-did, a dyfodfa mewn k 1Ioan 5
hyder trwy ei ffydd ef. 14
13 [l] Achos pa ham yr wyf yn dymuno na lwfrhaoch, l Marc 10
o blegit fy mlinderau i er eich mwyn chwi, yr hyn yw 30
eich gogoniant.
14 [m] O herwydd y peth hyn y plygaf fyng-liniau at m 1Pedr
Dad ein Harglwydd Iesu Grist, 1, 7
15 O ba un yr henwir yr holl deulu yn y nefoedd,
ac ar y ddaiar,
16 Ar roddi o honnaw ef i chwi yn ol cyfoeth ei og- n Luc 1,
oniant, ymgadarnhau mewn nerth trwy ei Yspryd ef 32
yn y dyn oddi mewn,
17 Fel y trigo Crist yn eich calonnau trwy ffydd.
18 [o] Fel y galloch wedi eich gwreiddio, a'ch seilio o Col. 2, 7
mewn cariad, ymgyffred gyd â'r holl sainct, beth yw'r Phil. 3, 18
lled a'r hyd, a'r dyfnder a'r uchder,
19 Ac adnabod cariad Crist, yr hwn sydd yn rhagori
pob gwybodaeth, fel eich llanwer yn hollawl â holl
gyflawnder Duw.
20 Iddo ef, yr hwn a ddichon wneuthur pob peth yn
fwy tra-rhagorol nac yr ydym ni yn dymuno, nac yn
deall, o herwydd y nerth sydd yn gweithio ynom,
21 [p] Y byddo gogoniant yn yr eglwys trwy Grist p Sal. 76.
Iesu, tros yr holl genhedlaethau hyd yn oes oesoedd, 1. a 107, 32
Amen.

## PEN. IV.

*Cyngor rhagorol, ac ysprydol am ymwreddiad at ddyn, a ffydd i Dduw, i ochel gau-ddysc, ac i adnewyddu buchedd.*

AM [q] hynny myfi yr hwn ydwyf garcharor yn yr q 1 Thes
Arglwydd, wyf yn attolwg i chwi rodio o honoch 2, 12
yn deilwng o'r alwedigaeth i'ch galwyd iddi, Col. 1, 10
2 Ym mhob lledneisrwydd, ac addfwyndra ynghyd
ag ymaros, gan oddef ei gilydd mewn cariad,
3 [r] Gan ymroi i gadw undeb yr Yspryd ynghwlwm r 1Cor. 1
tangneddyf, 10 Phil. 2, 2
4 [s] Un corph, ac un yspryd, megis i'ch galwyd i un 3
gobaith eich galwedigaeth: s Pen. 1 23
5 Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd,
6 [t] Un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a t Rhuf. 11
thrwy oll, ac ynoch oll. 36 Pen. 3 17
7 [u] Eithr i bob un o honom y rhoed gras yn ol mesur u Mat. 18
dawn Crist. 11 1Cor. 4, 7
8 [v] Am hynny y mae yn dywedyd, Pan dderchafodd v Sal. 68
i'r uchelder, efe a gaethiwodd gaethiwed, ac a roddes 18 Col. 2, 15
roddion i ddynion.
9 Eithr, efe a dderchafodd, beth yw hynny ond dar-
fod iddo ef ddescyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaiar?
10 [w] Yr un a ddescynnodd yw 'r hwn a escynnodd w Esa. 11
goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawne efe bob peth. 9 Ioan 1 16
11 Efe gan hynny a roddes rai i fod yn apostolion, a
rhai yn brophwydi, a rhai yn efengyl-wyr, a rhai yn
fugeiliaid, a rhai yn athrawon,
12 I grynhoi y sainct i waith y weinidogaeth, i adail-
adaeth corph Crist.
13 [x] Hyd oni ymgyfarfyddom oll (yn undeb ffydd a x 1Ioan 3
gwybodaeth Mab Duw) yn wr perffaith at fesur oed- 2

ran cyflawnder Crist,
y 1Cor.14 20 14 y Fel na byddom yn blant mwy rhagllaw, yn bw-
Rhuf. 16 18 hwmman, ac yn ein harwain o amgylch â phob awel
dysceidiaeth mewn cyfrwystra dynion a hocced, er
cynllwyn twyll,
15 Eithr gan ddilyn gwirionedd mewn cariad, cyn-
nyddwn iddo ef ym mhob peth, yr hwn sydd ben, [sef]
z 1Pedr 1 Crist.
8 16 z O'r hwn, y mae yr holl gorph wedi iddo gyd-
ymgynnull, a chyd-ymgyssylltu trwy bob cymmal, yr
hwn sydd yn gweini llyniaeth yn ol y gweithrediad y
sydd ym mesur pob rhan, yn peri cynnydd y corph,
i'w adailadaeth ei hun mewn cariad.
a Ioan 5 17 a Hyn gan hynny yr wyf yn ei ddywedyd, ac yn
14 ei destiolaethu yn yr Arglwydd, na rodioch chwi mwy
halach fel y mae y cenhedloedd eraill yn rhodio mewn
gwagedd eu meddwl.
18 Wedi tywyllu yn eu meddwl, ac yn ddieithr oddi
wrth fuchedd Dduw, drwy yr anwybod y sydd yn-
ddynt, trwy galedrwydd eu calonnau.
b 1Tim. 4 19 b Y rhai wedi iddynt ddiddarbodi a ymroesant i
2 drythyllwch ny odieth, i wneuthur pob aflendid.
Deut. 29 19 20 Eithr chwy-chwi, nid felly y dyscasoch [am] Grist.
21 Os bu i chwi ei glywed ef, ac os dyscwyd chwi
ganddo megis y mae'r gwirionedd yn Iesu.
c Gal.5,19 22 [Sef] dodi heibio yr hyn a berthyn i'r hen ymddyg-
iad gynt, yr hen ddyn hwnnw yr hwn y sydd lygred-
ig drwy chwantau twyllodrus,
d Rhuf.12 23 d Ac ymadnewyddu yn yspryd eich meddyliau,
2 24 A gwisco y dyn newydd, yr hwn a grewyd yn ol
Duw mewn cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd.
e Zec. 8 25 e O herwydd pa ham gan fwrw ymmaith gelwydd,
16 dyweded pawb y gwir wrth ei gymmydog: canys ael-
odau ydym i'w gilydd.
26 Digiwch, ac na phechwch, na fachluded yr haul
ar eich dig chwi.
f Preg. 10 27 f Ac na ddodwch le i ddiafol.
13 g 2Thes. 28 g Yr hwn a ledrataodd na ledratted mwy, eithr
3, 12 cymmered boen yn hytrach yn gweithio â'i ddwylaw
Act.19,19 y peth sydd dda, fel y byddo ganddo [beth] i'w gyf-
ranu i'r anghenog.
h Mat. 12 29 h Na ddeued un ymadrodd llygredig allan o'ch
36 genau chwi, ond y cyfryw un a fyddo da i adailadaeth
pan fyddo rhaid, fel y paro ras i'r gwrandawyr.
i Rhuf..8 30 i Ac na thristewch lân Yspryd Duw, gan yr hwn
21 eich seliwyd i ddydd y prynedigaeth.
j Mat. 27 31 j Tynner ymmaith oddi wrthych bob chwerwedd,
23 a llid, a dig, a llefain, a chabledd gyd â phob drygioni:
k 1Cor. 3 32 k A byddwch gymmwynascar i'w gilydd, a thru-
12 Mat. 18 garogion, gan faddeu i'w gilydd, fel y maddeuodd
33 Duw er mwyn Crist i chwithau.

## PEN. V.

*Y mae Paul yn annog i gariad perffaith, ac i ochel amryw bechodau tann eu henwau, 19 I fod yn ddiolchgar i Dduw. 22 Ac yn cynghori pawb, ac yn anad neb gwr â'i wraig i dduwiol ostyngeiddrwydd.*

l 1Ioan 3 GAN l hynny byddwn ddylin-wyr Duw, fel plant
6 anwyl,
m Phil. 2 2 m A rhodiwch mewn cariad fel y carodd Crist nin-
7 nau, ac y dododd efe ei hun trosom yn offrwm, ac yn
aberth i Dduw, o arogl peraidd.
n Ecs. 23 3 n Eithr godineb, a phob aflendid neu gybudd-dra,
13 Sal.93, 3 na henwer chwaith yn eich plith, megis y gwedde i
sainct,
4 Na serthedd, na geiriau ffol, na choeg-ddigrifwch, yr
hyn nid ydynt weddus, eithr yn hytrach diolchgarwch.
5 o Canys yr ydych yn gwybod hyn, am bob puttein- o Luc 19
wr, neu aflan, neu gybydd (yr hwn sydd ddelw-add- 12 2 Pedr 1
olwr) nad oes iddynt etifeddiaeth yn nheyrnas Grist, 11
a Duw.
6 p Na thwylled neb chwi â geiriau ofer, canys o p Mat. 12
blegit y pethau hyn y daw digofaint Duw ar blant yr 36 2 Pedr 3
anufudd-dod. 4
7 q Gan hynny na fyddwch gyfeillion iddynt.
8 r Canys yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch, ac q 1Tim.5
yn awr goleuni ydych yn yr Arglwydd, rhodiwch 22 r 1Thes.5
chwithau fel plant y goleuni, 5
9 s (Canys ffrwyth yr Yspryd [sydd] ym mhob daio- s Gal. 5,
ni, a chyfiawnder a gwirionedd) 22
10 t Gan brofi yr hyn sydd gymmeradwy gan yr Ar- t 1Thes.5
glwydd. 21
11 Ac na fydded i chwi gyfeillach â gweithredoedd
anffrwythlawn y tywyllwch, eithr yn hytrach argy-
oeddwch [hwynt.]
12 u Canys brwnt yw adrodd y pethau a wnant hwy u Rhuf. 1
yn ddirgel. 26 Preg. 12
13 v Eithr pob peth wedi'r argyoedder, a eglurir gan 14
y goleuad: canys beth bynnag sydd yn egluro, go- v Heb. 4
leuad yw. 13
14 w O herwydd hynny y mae efe yn dywedyd, w Esa. 60
Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfot oddi wrth y 1 Rhuf. 13
meirw, a Christ a oleua i ti. 11
15 Gwelwch gan hynny, pa fodd y rhodioch yn ddi-
yscaelus, nid fel annoethion, ond fel doethion,
16 x Gan waredu yr amser: canys y dyddiau sy x Mat. 13
ddrwg. 45
17 Am hynny na fyddwch amhwyllogion, eithr de-
allwch beth yw ewyllys yr Arglwydd.
18 y Ac na feddwer chwi gan win, yn yr hwn y mae y 1Thes.
gormodedd: eithr llanwer chwi o'r Yspryd: 1, 6
19 Gan ymddiddan â'i gilydd mewn psalmau, a
hymnau, ac odlau ysprydol, gan ganu a phyngcio i'r
Arglwydd yn eich calonnau:
20 z Gan ddiolch yn oestad i Dduw a'r Tad am bob z 1Thes.5
peth yn enw ein Harglwydd Iesu Grist. 18
21 Gan ymddarostwng i'w gilydd yn ofn Duw.
22 a Y gwragedd, ymostyngwch i'ch gwŷr priod, a Gen. 3
megis i'r Arglwydd. 16
23 b O blegit y gwr yw pen y wraig, megis y mae b 1Cor.11
Crist yn ben i'r eglwys, ac yntef yw iachawdur y corph. 3 c Mat. 17
24 c Gan hynny fel y mae yr eglwys yn ddarostyng- 5
edic i Grist, felly hefyd [bydded] y gwragedd i'w
gwyr priod ym mhob peth.
25 d Y gwyr, cerwch eich gwragedd megis y carodd d Heb. 9
Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun trosti, 14
26 Fel y sancteiddie efe hi, wedi ei glanhau mewn Phil. 2, 8
golchfa ddwfr trwy 'r gair,
27 e Fel y gwnele efe hi yn eglwys ogoneddus iddo e Tit. 2 14
ei hun, heb arni na brycheun, na chrychni, na dim o'r Can. 2, 14
cyfryw, ond ei bod yn sanctaidd, ac yn ddifai. a 4, 7
28 Felly y dyle y gwyr garu eu gwragedd megis eu
cyrph eu hunain; yr hwn a garo ei wraig y mae yn ei
garu ei hun.
29 Can na chasaodd neb er ioed ei gnawd ei hun,
eithr ei fagu a'i faethu, megis y mae yr Arglwydd am
yr eglwys.
30 f Canys aelodau ydym o'i gorph ef, ac o'i gnawd,
ac o'i escyrn. f Ioan 17,
31 g O blegit hyn, dyn a ymedu â'i dad, ac â'i fam, ac 21
a lŷn wrth ei wraig, ac hwynt hwy a fyddant ill dau g Gen. 2 24

yn un cnawd.
h Mat. 13 32 h Dirgelwch mawr yw hyn: eithr dywedyd yr
11 wyf am Grist, ac am yr eglwys.
33 Am hynny, chwithau bawb, cared pob un ei wraig
megis ei hunan, a pharched y wraig ei gwr.

## PEN. VI.

*Plant, a'u rhieni, gweision a'u meistred, a phawb yn cael cyngor.* 12 *A dangos ein peryglon, a'n gelynion, a'r modd y mae i ni gymmeryd iawn arfogaethau ar ryfel Christionogaidd.*

Y PLANT gwrandewch eich rhieni yn yr Arglwydd,
canys hynny sydd gyfiawn.
i Ecs. 20, 2 i Anrhydedda dy dad a'th fam, (yr hwn yw y gor-
12 chymyn cyntaf mewn addewid)
3 Fel y byddo yn dda i ti, ac fel y byddech hir
hoedlog ar y ddaiar.
j Pen. 4. 31 4 j Chwithau dadau, na chyffroiwch eich plant i
Gen. 18, ddigio, ond maethwch hwynt mewn addysc, ac ath-
19 rawiaeth yr Arglwydd.
5 Y gweision ufuddhewch i'r rhai sydd arglwyddi i
chwi yn ol y cnawd, trwy ofn, ac arswyd megis i Grist,
yng-wiriondeb eich calonnau.
6 Nid â gwasanaeth yn y golwg, megis rhai yn ceisio
bodloni dynion, ond fel gweinidogion Crist, gan wneu-
thur ewyllys Duw o'r galon,
k Ioan 15 7 k Gan wneuthur gwasanaeth trwy ewyllys da, megis
14 i'r Arglwydd, ac nid i ddynion.
l Gal. 6, 9 8 l Gan wybod mai y daioni a wnelo pob un, hynny
2 Cor. 5, 10 a dderbyn efe gan yr Arglwydd, pa un bynnag ai
caeth ai rhydd [fyddo efe.]
m Mat. 7 9 m A'r meistred gwnewch chwithau 'r un rhyw beth-
24. a 23, 3 au iddynt hwy, gan roddi bygwth heibio, gan wybod
fod eich Arglwydd chwi, a hwythau yn y nefoedd, ac
nad oes dderbyn wyneb gyd ag ef.
n Ioan 15 10 n Am ben hyn fy mrodyr ymnerthwch yn yr Ar-
5 glwydd, ac yng-hadernid ei allu ef:
o 2 Cor. 10 11 o Gwiscwch oll arfogaeth Dduw, fel y galloch
4
2 Tim. 4, 7
sefyll yn erbyn cynllwynion diafol.
12 p Am nad yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a p Dat. 12
chnawd, eithr yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn aw- 12
durdodau, yn erbyn bydol gedyrn tywyllwch y byd
hwn, yn erbyn drygau ysprydol yn y nefol [leoedd.]
13 q Am hynny cymmerwch attoch holl arfogaeth q Luc 8
Dduw, fel y galloch wrthladd yn y dydd blin, a sefyll 13
wedi gorphen y cwbl.
14 r Sefwch gan hynny wedi gwregysu eich lwynau r 1 Thes. 5
â gwirionedd, a gwisco dwyfronneg cyfiawnder, 8
15 s A gwisco am eich traed escidiau paratoad Efengyl s Rhuf. 10
tangneddyf. 10
16 t Uwchben pob dim cymmerwch darian y ffydd, t 1 Pedr 5
â'r hwn y galloch ddiffoddi holl biccellau tanllyd y 9
fall,
17 Cymmerwch hefyd helm yr iechydwriaeth, a
chleddyf yr Yspryd, hwn yw gair Duw.
18 u A gweddiwch bob amser â phob rhyw weddi a
deisyfiad yn yr Yspryd, gan fod yn wiliadwrus at hyn u 1 Thes. 5. 17
trwy bob dyfalwch, ac ymbil tros yr holl sainct, Luc 18, 1
19 A throsof finne, ar roddi i mi ymadrodd i agoryd
fyng-enau mewn rhydd-did, i wneuthur yn eglur ddir-
gelwch yr Efengyl.
20 v Er mwyn yr hon yr wyf yn gennad mewn cad- v 2 Cor. 5
wyn, fel y traethwyf yn hyderus am deni, megis y 19
perthyn i mi draethu.
21 w Ac fel y gwypech chwithau hefyd fyng-hyflwr, w Act. 28
a pha beth yr wyfi yn ei wneuthur, Tychicus a'u deng- 16
ys hwy oll i chwi, fy annwyl frawd a gweinidog ffydd- Act. 20, 4
lon yn yr Arglwydd:
22 Yr hwn o'r achos honno a ddanfonais attoch, fel
y gwyddech fyng-hyflwr, ac fel y cyssuro efe eich
calonnau chwi.
23 Tangneddyf gyd â [chwi] frodyr, a chariad, a
ffydd oddi wrth Dduw Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
24 Gras gyd â'r rhai oll a garant ein Harglwydd Iesu
Grist, yn anllygredig. Amen.

Y llythyr hwn *a scrifennwyd o Rufein gyd â Tychicus.*

---

# EPISTOL PAUL

AT Y

# PHILIPPIAID.

## PENNOD I.

*S. Paul yn dinoethi ei galon tu ag attynt,* 3 *Gan roddi diolch,* 4 *A gweddio dros eu ffydd a'u hiechydwriaeth.* 7 *Y mae yn dangos ffrwyth ei adfyd.* 25 *Ac yn eu hannog i gytundeb,* 28 *A dioddefgarwch.*

x Act. 16 PAUL x a Timotheus gweision Iesu Grist at yr holl
12 Sainct yng-Hrist Iesu y rhai sy yn Philippos
Act. 20, gyd â'r escobion, a'r diaconiaid:
7, 23 2 Rhad fyddo gyd â chwi a thangneddyf gan Dduw
ein Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
Col. 1. 3 3 y I'm Duw yr ydwyf yn diolch ym mhob coffa am
Dar. 10, 7 danoch,
1 Thes. 2 4 z (Gan weddio bob amser yn fy holl weddiau tros-
9 och oll yn llawen)
5 O blegit y gyfran yr hon sydd i chwi yn yr Efengyl,
o'r dydd cyntaf hyd yr awr hon.
6 a Gan fod yn siccr gennyf hyn, y gorphen yr hwn a 1 Thes. 1
a ddechreuodd waith da ynoch, hyd yn nydd Iesu 4
Grist,
7 b Megis y mae yn iawn i mi synied am danoch oll, b Cor. 13
am eich bod gennyf yn fyng-halon yn gystal yn fy Act. 5, 41
rhwymau, ac yn fy amddeffyn i, a chadarnhad yr
Efengyl, [nid amgen] eich bod chwi oll yn gyfrannog-
ion â mi o ras.
8 Canys Duw sydd dyst i mi morr hoff gennif chwy-
chwi oll yn ymyscaraoedd Iesu Grist.
9 c A hyn yr ydwyf yn ei weddio, [sef] ar amlhau c 2 Pedr 3
o'ch cariad etto fwy-fwy mewn gwybyddiaeth a phob 18
synwyr:
10 d I fedru dosparthu y pethau y byddo gwahaniaeth d Luc 10
41, 42

rhyngddynt, fel y byddoch bur a didramgwydd, hyd
ddydd Crist,
a Gal. 5, 22 11 a Wedi eich cyflawni â ffrwythau cyfiawnder, y
rhai [ydynt] trwy Iesu Grist er gogoniant a moliant i
Dduw.
f Rhuf. 8, 28 12 f Ac mi a ewyllysiwn i chwi wybod frodyr, am y
pethau a ddigwyddodd i mi, ddyfod o honynt yn hyt-
rach er llwyddiant i'r Efengyl.
g Eph. 4, 1 13 g Yn gymaint a bod fy rhwymau i yn eglur yng-
Hrist yn yr holl lys, ac ym mhob [lle] arall,
h Act. 13, 46 14 h Ac i lawer o'r brodyr yn yr Arglwydd fod yn
hyderusach, o blegit fy rhwymau i draethu y gair yn
ddiofn.
i 2 Cor. 2, 17 15 i Y mae rhai yn pregethu Crist trwy genfigen, ac
ymryson, a rhai hefyd o ewyllys da.
j 2 Cor. 2, 17 16 j Y naill blaid yn pregethu Crist o gynen, ac nid
yn bur, gan dybied dwyn mwy o flinder i'm rhwymau.
k 1 Cor. 10, 21 17 k A'r blaid arall o gariad, gan wybod fyng-osod i
yn amddeffyn i'r Efengyl.
18 Beth er hynny? etto Crist a bregethir ym mhob
modd, pa un bynnag ai o [ryw] liw, ai yn gywir: ac
am hyn yr ydwyf yn llawen, ac mi a fyddaf llawen
hefyd.
19 Canys gwn y syrth hyn yn iechydwriaeth i mi,
trwy eich gweddi chwi, a thrwy gymhorthwy Yspryd
Iesu Grist,
l 2 Tim. 1, 12 20 l Yn ol fy hiraeth a'm gobaith na'm gwradwyddir
1 Cor. 6, 20 mewn dim, eithr o gwbl hyder fel pob amser, felly yr
awr hon hefyd y mawrygir Crist yn fyng-horph [pa
‡ Neu, Crist un bynnag] ai trwy fywyd, ai trwy farwolaeth.
sydd elw 21 ‡ Canys byw i mi [yw] Crist, ac elw yw marw.
i mi mewn 22 Eithr a'i buddiol fydde i mi fyw yn y cnawd, a
bywyd pha beth a ddewisaf nis gwn.
ac mewn angeu. 23 m Canys y mae yn gyfyng arnaf o'r ddautu, gan
Act. 20, 24 ddeisyfu fy-nattod, a bod gyd â Christ yr hyn sydd
m 2 Cor. 5, 8 oref dim.
24 Eithr aros yn y cnawd sydd yn fwy angenrheid-
iol o'ch plegit chwi.
25 n A hyn a wn yn siccr, yr arhosaf, ac y cyd-trigaf
n Eph. 4, 24 gyd â chwi oll er ffynniant i chwi, a llawenydd i'r
ffydd,
26 Fel y byddo yn lluosog eich gorfoledd yn Iesu
Grist trwof fi, gan fy-nyfodiad attoch drachefn.
27 o Yn unic ymddygwch fel y mae addas i Efengyl
o Eph. 4, 1 Grist, fel pa un bynnac ai gan ddyfod a'ch gweled, *ai*
1 Cor. 1, 10 gan fod yn absennol y gallwyf glywed oddi wrth eich
cyflwr, eich bod yn sefyll yn un Yspryd, ac yn un
enaid, yn cyd-ymdrech trwy ffydd yr Efengyl.
28 q Ac yn-nim na ddychrynnwch [gan] eich gwrth-
q 2 Tim. 2, 12 wyneb-wyr, yr hyn sydd iddynt hwy yn arwydd siccr
o ddinistr, ac i chwithau o iechydwriaeth, a hynny gan
Dduw.
r Mat. 13, 11 29 r Canys i chwi y rhoddwyd er Crist nid yn unic
fod i chwi gredu ynddo ef, ond hefyd ddioddef erddo
ef,
30 Gan fod i chwi yr un ymdrin, ag a welsoch ynofi,
ac yr awr hon a glywch [fod] ynofi.

## PEN. II.

*Y mae efe yn eu cynghori uwch ben dim i ufydd-dod, wrth yr hyn yn bennaf y cynhelir y ddysc bur, 19 Gan addo y bydd iddo ef a Timotheus ddyfod ar frys attynt hwy, 27 Ac hefyd y mae efe yn escusodi hir drigiad Epaphroditus.*

OD oes gan hynny ddim diddanwch yng-Hrist, od
oes cyssur cariad, od [oes] dim cymdeithas a'r
Yspryd, od [oes] dim tosturi a thrugaredd,
2 a Cyflawnwch fy llawenydd, ar i chwi fod yn un a Act. 4, 32
fryd, a chennych yr un rhyw gariad, ac yn un galon, 1 Cor. 1,
ac yn meddwl yr un peth. 10
3 t Fel na wneler dim drwy gynnen, neu wag ogon- t Gal. 5
iant, eithr yng-ostyngeiddrwydd gan dybied ei gilydd 26
yn well na chwi eich hunain.
4 Nac edrychwch bod un ar yr eiddoch eich hunain,
eithr [edryched] pob un hefyd ar yr eiddo eraill.
5 Bydded yr un meddwl ynoch ag oedd yng-Hrist
Iesu.
6 u Yr hwn pan oedd yn ffurf Duw ni thybiodd drais u Ioan 5
fod yn ogyfuwch â Duw: 18
7 v Eithr efe a'i diddymmodd ei hun, gan gymmeryd v Ioan 10
arno agwedd gwas, a'i wneuthur yn gyffelyb i ddyn- 15
ion. Heb. 2, 17
8 Efe a ymostyngodd yn ufydd i angeu sef angeu y
groes.
9 w O herwydd pa ham Duw a'i tra-derchafodd yntef, w Eph. 1
ac a roddes iddo enw, uwch pen pob enw. 20
10 x Fel y bydde yn enw yr Iesu i bob glin blygu, x Heb. 1
[yn gystal] i'r nefolion a daiarolion, a'r pethau tan y 6
ddaiar.
11 y Ac i bob tafod gyffesu mai Iesu Grist yw'r Ar- y 1 Tim. 6
glwydd, er gogoniant Duw Tad. 15
12 z Am hynny fy annwylyd, megis pob amser yr z 1 Pedr 1
ufyddhaesoch, nid megis yn fyng-wydd yn unic, eithr 10
yr awr hon yn fwy o lawer yn fy absen, felly gorphen-
nwch eich iechydwriaeth eich hunain drwy ofn a dy-
chryn.
13 Canys Duw yw 'r hwn sydd yn gweithio ynoch,
ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da.
14 Gwnewch bob dim yn ddifurmur, ac heb ym-
ddadle:
15 a Fel y byddoch yn ddiargyoedd, ac yn bur, ac a Mat. 5
yn ddifeius feibion i Dduw ym mysc cenhedlaeth 14
ddrygionus drofaus, ym mhlith y rhai yr ydych yn
disclaerio megis goleuadau yn y byd.
16 b Yn cynnal gair y bywyd, er gorfoledd i mi yn- b Ioan 6
nydd Crist, na redais i yn ofer, ac na chymmerais boen 68
yn ofer. Dan. 12, 3
Gal. 4, 11
17 Ie pe i'm offrymmid ar aberth a gwasanaeth eich
ffydd, llawen yw gennif, a chydlawen â chwi oll
ydwyfi.
18 O blegit hyn hefyd byddwch chwithau lawen, a
chyd-lawenhewch â minne.
19 c Ac yr ydwyf yn gobeithio yn yr Arglwydd Iesu c 1 Thes. 2
y danfonaf Timotheus ar fyrder attoch, megis i'm cys- 19
surer inne hefyd wrth wybod oddi wrthych.
20 Canys nid oes i mi neb o gyffelyb feddwl, yr hwn
a wir ofala am eich cyflwr chwi.
21 d Canys pawb sydd yn ceisio yr eiddynt eu hunain, d 2 Tim. 3
ac nid yr hyn sydd eiddo Crist Iesu. 2
Rhuf. 10
22 e Eithr chwi a adwaenoch y profiad sydd am dano 18
ef, canys fel mab gyda thad y gwasanaethodd efe gyd â e 1 Tim. 3
myfi yn yr Efengyl. 10
23 Hwn gan hynny yr ydwyf yn gobeithio ei ddan-
fon cyn gynted ag y gwelwyf yr hyn fydd i mi.
24 Ac yr ydwyf yn gobeithio yn yr Arglwydd y
deuaf fi fy hun hefyd ar fyrder.
25 f Eithr tybiais fod yn angenrheidiol ddanfon f Philem.
Epaphroditus fy-mrawd, fyng-hyd weithwr a'm cyd- 2
filwr, sef eich Apostol chwi, a'r hwn fu yn fyng-was- Eph. 6, 18
anaethu [inne] o gyfryw bethau, ag oedd arnafi eisieu.
26 Canys yr oedd arno hiraeth am danoch chwi oll, ac
athrist iawn ydoedd am i chwi glywed ei fod ef yn glaf.

27 A diau ei fod ef yn glaf, [ac] ym-mron marw, ond
bod i Dduw drugarhau wrtho, ac nid wrtho ef yn
unic, ond wrthyfi hefyd, rhag i mi gael tristit ar dristid.
28 Mi a'i danfonais ef gan hynny yn ddiesceulusach,
fel pan welech ef drachefn y llawenhaech, ac y bydd-
wn [inne] yn ddi-dristach.
g Mat. 10 41 29 [g] Derbynniwch ef gan hynny yn yr Arglwydd â
Rhuf. 16 2 phob llawenydd, a mawrhewch y cyfryw [rai.]
30 [h] Canys er mwyn gwaith Crist y bu efe yn agos i
h 2 Cor. 12 15 angen, ac ni ddarbododd am ei einioes, i gwplau deffig
eich gwasanaeth i mi.

## PEN. III.

*2 Y mae efe yn eu rhybuddio hwy i ymogelyd rhag gau ddysc-awdwyr, 3 Yn erbyn pa rai y mae efe yn gosod Crist, 4 A'r un modd ei hunan, a'i ddysc, 12 Ac yn diddymmu cyfiawnder dyn ei hun.*

i 2 Pedr 1 13 WEITHIAN [i] fy-mrodyr byddwch lawen yn yr
Arglwydd, nid blin gennif fi scrifennu yr un
pethau attoch, ac i chwithau i mae yn [beth] diogel.
j Mat. 23 15 2 [j] Gochelwch gwn: gochelwch ddrwg-weithwyr:
gochelwch rhag cydtoriad.
k Rhuf. 2 29 3 [k] Canys enwaediad ydym ni, y rhai ydym yn add-
Ioan. 4, 24 oli Duw yn yr Yspryd, ac yn gorfoleddu yng-Hrist
Iesu, ac nid yn ymddyried yn y cnawd.
l Rhuf. 3 1, 2 4 [l] Ac er bod gennif achos i ymddyried yn y cnawd:
2 Cor. 11 3 o thybia neb arall y gall ymddyried yn y cnawd, mwy
[y gallaf] fi:
5 Wedi fy enwaedu yr wythfed dydd, o genedl Is-
rael, o lwyth Beniamin, yn Hebræwr o'r Hebræaid,
wrth y ddeddf yn Pharisæad:
m Act 9 1 6 [m] O herwydd zêl yn erlid yr eglwys: o herwydd y
cyfiawnder sydd yn y ddeddf, yn ddiargyoedd.
1 Cor. 4, 4 7 Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hynny a gyf-
n Mat. 13 44 rifwn i yn golled er mwyn Crist,
8 [n] Ac yn ddiau cyfrif yr wyf bob dim yn golled er
mwyn rhagorawl wybodaeth [am] Grist Iesu fy Ar-
glwydd, er mwyn yr hwn y cyfrifais bob dim yn goll-
ed, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel y gallwn ennill
o Rhuf. 8 29 Crist.
9 [o] A'm caffael ynddo ef nid a'm cyfiawnder fy hun
Rhuf. 10 3 gennif, yr hwn sydd o'r gyfraith, onid yr un sydd
trwy ffydd Grist, [sef] y cyfiawnder sydd o Dduw trwy
p Rhuf. 4 25 ffydd.
Col. 1, 24 10 [p] Fel yr adwaenwyf ef, a rhinwedd ei ail-gyfod-
iad, a chymdeithas ei ddioddefaint fel y byddwyf wedi
fyng-wneuthur yn un wedd a'i farwolaeth ef.
11 [I edrych] a gyrhaeddwn ryw fodd ail-gyfodedig-
q 1 Cor. 13 9, 10 aeth y meirw.
12 [q] Nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd eusus, neu
fod eusus yn berffaith: eithr dilyn yr wyf i [geisio]
ymaflyd er mwyn yr hyn yr ymaflir ynof gan Grist
r Diar. 13 7 Iesu.
1 Cor. 2, 9 13 [r] Nid wyfi 'n tybied frodyr i mi gael gafael, eithr
un peth [yr wyf arno:] gan ollwng dros gof 'r hyn
sydd o'r tu cefn, a cheisio tynnu at yr hyn sydd o'r
s 1 Cor. 9 24 blaen.
2 Tim. 4, 8 14 [s] Yr ydwyf yn cyrchu at y nôd am gynglwyst
Eph. 1, 4 5 uchod alwedigaeth Dduw yng-Hrist Iesu.
t Eph. 4 13 15 [t] Cynnifer gan hynny o honom, ac ydym berffaith,
synniwn fel hyn: ac od ydych yn synnio yn amgen-
Rhuf. 14 14 ach, Duw a ddatcuddia hyn hefyd i chwi.
u Esa. 8, 20 16 [u] Er hynny [yn y peth] y daethom atto cerddwn
wrth yr un rheol, fel y synniom yr un peth.
Gal. 6, 6 17 [v] Ha frodyr, dilynwch fi, ac edrychwch ar y rhai
v Heb. 13, 7 sy yn rhodio felly, megys yr ydym ni yn siampl i chwi.
18 [w] Canys llawer a rodiant am ba rai y dywedais i w Marc 7, 22
chwi yn fynych, ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi dan
wylo [eu] bod yn elynion croes Crist.
19 [x] Y rhai y mae eu diwedd yn gyfrgoll, bol y rhai x Dat. 19 20
sydd yn dduw [iddynt,] a'u gogoniant yn wradwydd Luc 18 11
iddynt, y rhai y mae eu meddwl am bethau daiarol.
20 Canys ein gwladwriaeth [ni] sydd yn y nefoedd,
o'r lle yr ydym yn edrych am yr Iachawdr [sef] yr
Arglwydd Iesu Grist.
21 [y] Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael [ni] fel y y 1 Cor. 15 47
gwneler yn un ffurf a'i gorph gogoneddus ef, o her-
wydd y grym, trwy yr hwn y dichon efe ddarostwng
pob dim iddo ei hun.

## PEN. IV.

*Y mae yn eu hannog i fod o ymarweddiad da. 15 Ac yn diolch iddynt am yr ymgeledd a wnaethent iddo ef yng-harchar. 21 Ac felly y mae yn dibennu gan ganu yn iach.*

GAN [z] hynny fy mrodyr annwyl a hoff, fy llawen- z Gal. 5, 1
ydd a'm coron, felly sefwch yn yr Arglwydd, 1 Cor 15, 5
annwylyd.
2 Yr ydwyf yn atolwg i Esodias, ac yn deisyf ar
Syntyche fod o'r un feddwl yn yr Arglwydd.
3 [a] Ac yr ydwyf yn dymuno arnat tithe fyng-wir a Mat. 5, 9
gymmar, cymmorth [y gwragedd] hynny y rhai a Gal. 6, 1
lafuriasant gyd â mi yn yr Efengyl, yng-hyd a Chle-
ment hefyd, a chyd ag eraill o'm cyd-weithwyr, y rhai
y mae eu henwau yn llyfr y bywyd.
4 Llawenhewch yn yr Arglwydd yn oestadol, a
thrachefn meddaf, llawenhewch.
5 [b] Bydded eich arafwch yn hyspus i bob dyn y mae b Rhuf.
yr Arglwydd yn agos. 15, 1
6 Na ofelwch [am] ddim: eithr ym mhob dim dang-
oser eich dymuniad i Dduw mewn gweddi a deisyfiad
gyd â diolch.
7 A thangneddyf Dduw yr hwn sydd uwchlaw pob
deall a geidw eich calonau a'ch meddyliau yng-Hrist
Iesu.
8 [c] Heb law hyn frodyr, pa bethau bynnag sydd wir, c Rhuf. 12 17
pa bethau bynnag sydd onest, pa bethau bynnag sydd
gyfiawn, pa bethau bynnag sydd bur, pa bethau byn-
nag sydd hawddgar, pa bethau bynnag sydd o enw da,
od oes un rhinwedd, ac od oes dim clod, meddyliwch
am y pethau hyn,
9 [d] Y rhai a ddyscasoch, ac a dderbynniasoch, ac a d Mat. 7 21
glywsoch, ac a welsoch ynof fi: y pethau hynny Iago 1, 22
gwnewch, a Duw yr heddwch a fydd gyd â chwi.
10 Llawenychais hefyd yn yr Arglwydd yn ddirfawr,
am i chwi yr awr hon o'r diwedd ymadnewyddu i
ofalu am danafi, am yr hyn beth yr oeddych yn gofalu,
ond nid oeddych yn cael ennyd.
11 [e] Nid wyf yn dywedyd o herwydd eisieu, canys e Rhuf. 15 4
dyscais ym-mha gyflwr bynnag y bwyf, fod yn fodd- 1 Tim. 6 6
lon iddo.
12 [f] Ac mi a fedraf ymostwng, a medraf amlhau: ym f 2 Cor. 11 23
mhob lle, ac ym mhob dim i'm haddyscwyd i fod yn
llawn, a bod yn newynog, a bod mewn helaethrwydd,
a bod mewn eisieu.
13 Pob dim a allaf trwy Grist, yr hwn sydd yn fy
nerthu.
14 [g] Er hynny da y gwnaethoch ar gyfrannu i'm g 1 Cor. 9 7
gorthrymder i.
15 A chwi Philippiaid a wyddoch y modd yn nech-
reuad yr Efengyl pan aethym i ymmaith o Macedonia:
na chyfrannodd un eglwys â mi o ran rhoddi a derbyn,

ond chwychwi yn unic.
h Act. 17 16 [h] Chwi a anfonasoch i mi i Thessalonica, un-waith,
13 ac eilwaith wrth fy rhaid,
i 2 Cor. 9, 6 17 [i] Nid o herwydd fy mod i yn ceisio rhodd: eithr
8 yr ydwyf yn ceisio ffrwyth yn amlhau erbyn eich cyf-
rif chwi.
j Heb. 13 18 [j] Mi a gefais bob dim, ac y mae gennif helaeth-
16 rwydd, mi a lawnwyd pan dderbynniais gan Epaphro-
ditus y pethau a [ddaethant] oddi wrthych chwi, [sef]
arogl peraidd, aberth cymmeradwy [a] boddlon gan
Dduw.

19 [k] A'm Duw a gyflawna eich oll angenrhaid [chwi] k Sal. 24 1
yn ol ei olud ef, yn ogoneddus yng-Hrist Iesu.
20 [l] I Dduw sef ein Tad [y byddo] gogoniant yn oes l Ioan 10
oesoedd. Amen. 17
21 Anherchwch yr holl sainct yng-Hrist Iesu: y mae Mat. 6, 5 3
'r brodyr sydd gyd â mi yn eich annerch.
22 [m] Y mae y sainct oll yn eich annerch chwi, ac yn m 1 Bren.
bennaf y rhai ydynt o deulu Cæsar. 13, 3
23 Rhad ein Harglwydd Iesu Grist [fyddo] gyd â
chwi oll. Amen.

*O Rufain yr scrifennwyd at y Philippiaid gyd âg Epaphroditus.*

# EPISTOL PAUL

AT Y

# COLOSSIAID.

## PENNOD I.

3 *Paul yn diolch i Dduw am eu ffydd hwynt.* 7 *Yn cad-
arnhau dysceidiaeth Epaphroditus.* 9 *Yn gweddio am
angwanegiad eu ffydd hwy.* 13 *Yn dangos iddynt y gwir
Grist, ac yn dinoethi gau Grist y gau Apostolion.* 25 *Yn
canmol ei awdurdod a'i swydd.*

PAUL Apostol Iesu Grist trwy ewyllys Duw, a
Thimotheus [ein] brawd at y Sainct a ffyddlon
frodyr yng-Hrist Iesu y rhai [ydynt] yn Colossa.
n 1 Pedr 1 2 [n] Gras gyd â chwi a thangneddyf gan Dduw ein
15 Tit. 2, 11 Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
3 Yr ydym [ni] yn diolch i Dduw, sef Tad ein Ar-
glwydd Iesu Grist yn oestadol trosoch gan weddio,
o Mat. 9. 2 4 [o] Er pan glywsom eich ffydd yng-Hrist Iesu, a'ch
Rhuf. 1, 8 cariad i'r holl sainct,
p Mat. 5 5 [p] Er [mwyn y gobaith yr hon sydd wedi ei rhoddi
12 a 25, 34 i chwi yn y nefoedd, am yr hon y clywsoch yn y blaen
gan air gwirionedd yr Efengyl,
q Mat. 3 8 6 [q] Yr hon wedi dyfod attoch chwi, megis i'r holl
fyd, ac yn ffrwythlon fel [y mae] yn eich plith chwi-
the hefyd, o'r dydd y clywsoch, ac y gwybuoch ras
r Heb. 13 Duw mewn gwirionedd.
17 7 [r] Fel y dyscasoch gan Epaphras ein annwyl gyd-
was, yr hwn sydd trosoch chwi yn ffyddlon wenidog
Crist.
s Rhuf. 4 8 [s] Yr hwn hefyd a amlygodd i ni eich cariad chwi
17 yn yr Yspryd.
t Mat. 13 9 [t] Am hynny ninnau hefyd, er y dydd y clywsom,
11 nid ydym yn peidio a gweddio trosoch, a deisyf eich
cyflawni â gwybyddiaeth ei ewyllys ef ym mhob doeth-
ineb, a deall ysprydol.
u 1 Cor. 10 10 [u] Fel y rhodioch yn deilwng gan yr Arglwydd,
31 gan rygluddu bodd ym mhob dim, gan ddwyn ffrwyth
ym mhob gweithred dda, a thyfu yng-wybodaeth [am]
Dduw.
v 1 Cor. 1 11 [v] wedi ymnerthu â holl nerth trwy ei ogoneddus
17 gadernid ef i bob dioddefgarwch, ac ymaros gyd ag hyf-
rydwch.
12 Gan ddiolch i'r Tad yr hwn a'n gwnaeth yn gym-
mwys i [gael] rhan o etifeddiaeth y sainct yn y goleuni.

13 [w] Yr hwn a'n gwaredodd ni oddi wrth feddiant y w Eph. 6
tywyllwch, ac a'n symudodd ni i deyrnas ei annwyl 12
Fab.
14 [x] Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei x Act. 10
waed ef, [sef] maddeuant pechodau. 41
15 [y] Yr hwn yw gwir ddelw yr anweledig Dduw, y Heb. 1
cyntafanedic pob creadur. 3 1 Tim. 3
16 [z] Canys trwyddo ef y creawyd pob dim a'r [sydd] 16
yn y nefoedd, ac [sydd] yn y ddaiar, yn weledig ac yn z Ioan 1
anweledig: pa un bynnag ai Thronau, ai Arglwydd- 3 a 5, 19
iaethau, ai Tywysogaethau, ai Meddiannau, pob dim
a greawyd trwyddo ef, ac erddo ef.
17 [a] Ac y mae efe cyn pob dim, ac ynddo ef y mae a Diar. 8
pob dim yn cyd-sefyll. 22 Heb. 13, 8
18 [b] Ac efe yw pen corph yr eglwys: efe yr hwn yw b Eph. 1
'r dechreuad a'r cyntafanedic o'r meirw, fel ym mhob 22 1 Cor. 15
dim y cae efe flaenori. 20
19 [c] Canys rhyngodd bodd, trigo o bob cyflawnedd c Ioan 1
ynddo ef, 14, a 3, 34
20 [d] A thrwyddo ef gymmodi pob dim ag ef ei hun, d Act. 20
pa un bynnag, ai pethau yn y ddaiar, ai pethau yn y 28 Rhuf. 5
nefoedd, gan wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef. 25
21 [e] A chwithau y rhai oeddech gynt ddieithriaid a e Eph. 2
gelynnion, gan fod eich meddyliau ar weithredoedd 12 Tit. 3, 3, 4
drwg, yr awr hon hefyd a gymmododd efe,
22 [f] Yng-horph ei gnawd trwy farwolaeth fel eich f Eph. 5
gosodid chwi yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddi- 26 Rhuf. 8
gerydd ger ei fron ef. 33
23 [g] Os parhewch wedi eich seilio a'ch siccrhau yn g Mat. 10
y ffydd, heb siglo oddi wrth obaith yr Efengyl yr hon 22 a 7, 25
a glywsoch, [ac] a bregethwyd ym mysg pob creadur
a'r sydd tan y nef, i'r hon yr euthym i Paul yn wein-
idog.
24 [h] Yr hwn ydwyf yn awr yn llawenychu yn fy ni- h Act 9, 4
oddefaint trosoch, ac yn cyflawni yr hyn oedd yn ol 2 Cor. 1, 5
o gystudd Crist yn fyng-hnawd i, er mwyn ei gorph ef,
yr hwn yw 'r eglwys,
25 [i] I'r hon yr euthym i yn wenidog, yn ol gorch- i Eph. 3
wiliaeth Dduw, yr hon a roddwyd i mi o'ch plegid 11, a 1, 10
chwi i gyflawni gair Duw.

j Mat. 13 26 j [Sef] y dirgelwch yr hwn oedd guddiedig er yn
11 Rhuf. 16 oes oesoedd ac yr awr hon a eglurwyd iw sainct ef.
25 27 k I ba rai y mynnase Duw yspysu beth yw golud
k Mat. 13 gogoniant y dirgelwch hyn ym mhlith y cenhedloedd,
23 yr hwn [olud] yw Christ yr hwn sydd ynoch chwi,
gobaith y gogoniant.
28 Yr hwn yr ydym [ni] yn [ei] bregethu, gan ry-
buddio pob dyn, a dyscu pob dyn ym mhob doethineb,
fel y gosodom bob dyn yn berffaith yng-Hrist Iesu.
l 1 Tim. 4 29 l Am yr hwn beth yr ydwyf fi hefyd yn ymboeni,
2 gan ymegnio yn ol ei weithrediad ef yr hon sydd yn
gweithio ynofi yn nerthol.

## PEN. II.

*Gwedi iddo destiolaethu ddaed ei ewyllys ef iddynt. 4 Y mae efe yn eu rhybuddio, na ddychwelent yn eu hol oddi wrth Grist, 8 I wasanaeth Angelion, ne ddychymmyg arall neu Ceremoniau y gyfraith, 17 Y rhai a derfynwyd yng-Hrist.*

m 2 Cor. 11 CANYS m ewyllysiwn i chwi wybod pa faint ym-
28 drech sydd arnaf er eich mwyn [chwi] a'r rhai o
Laodicia, a phwy bynnag ni welsant fy wyneb yn y
cnawd.
n Eph. 4, 1 2 n Fel y cysurid eu calonnau, wedi eu cyssylltu hwy
3 yng-hariad, ac ym mhob golud cwbl gredadwy ddeall,
i adnabod dirgelwch Duw y Tad, a Christ.
o Mat. 11 3 o Yn yr hwn y mae yn guddiedig oll drysorau
25 doethineb a gwybodaeth.
1 Cor. 1, 4 p A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd rhag i neb eich
23 p Act. 15 twyllo â geiriau hygoel.
1 Eph. 4, 14 5 q Canys er fy mod yn absennol yn y cnawd, er
q 1 Cor. 14 hyny yr ydwyf gyd â chwi yn yr yspryd yn llawen-
40 ychu, ac yn gweled eich trefn a chadernid eich ffydd
chwi, yr hon [sydd] yng-Hrist.
r 1 Ioan 2 6 r Megis gan hyny y derbyniasoch Grist Iesu yr
6 Eph. 4, 1 Arglwydd, felly rhodiwch ynddo,
s 2 Pedr 1 7 s Wedi eich gwreiddio a'ch adeiladu ynddo ef, ac
8 wedi ymgadarnhau yn y ffydd, fel i'ch discwyd, gan
ymamlhau ynddi drwy ddiolch.
t Mat. 15 8 t Edrychwch rhac bod neb yn eich anrheithio trwy
5 Gal. 3, 24 Philosophi a gwag dwyll wrth draddodiad dynion, yn
ol gwyddorion y byd, ac nid yn ol Crist.
u Ioan 1 9 u Canys ynddo ef y mae cyflawnder y Duwdod yn
14 presswylio yn gorphorol.
10 Ac yr ydych chwi wedi eich cyflawni ynddo ef,
yr hwn yw pen holl dywysogaeth ac awdurdod.
11 Yn yr hwn hefyd i'ch enwaedwyd ag enwaediad
nid o waith llaw, gan ymddiosc pechadurus gorph y
cnawd trwy enwaediad Crist.
v Rhuf. 6 12 v Wedi eich cyd-gladdu gyd ag ef trwy fedydd,
3, 4 Marc 16 yn yr hwn hefyd i'ch cyd-gyfodwyd trwy ffydd
16 gweithrediad Duw, yr hwn a'i cyfodes ef o feirw.
13 A chwithau y rhai oeddech feirw yn mhechodau,
ac yn nienwaediad eich cnawd, a gyd-fywhaodd efe
gyd ag ef, gan faddeu i chwi eich holl gamweddau,
w Heb. 9 14 w Gan ddileu scrifen-law yr ordeiniadau yr hon
9 Act. 15, 10 [oedd yn] ein herbyn, yr hon oedd yng-wrthwyneb i
ni, efe a'i cymerodd oddiar y ffordd, gan ei hoelio
wrth y groes.
15 Ac a speiliodd y tywysogaethau a'r nerthoedd, ac
ai herddangosodd hwy yn gyhoeddus, gan orfoleddu
arnynt ynddo ei hun.
x Rhuf. 14 16 x Am hyny na farned neb arnoch chwi am fwyd
1, 3 a diod, neu o ran dydd gwyl, ne leuad newydd ne
y Heb. 8 5 Sabbothau,
a 10, 1 Ioan 1, 17 17 y Y rhai nid ydynt onid cyscod pethau ar ddyfod,
eithr y corph sydd o Grist.
18 Na thwylled neb chwi yn ewyllysgar, am y gyng-
hwyst trwy ostyngeiddrwydd, ac addoliad angelion,
gan ruthro i bethau nis gwelodd wedi ymchwyddo yn
ofer gan ei feddwl cnawdol ei hun,
19 Heb gyfattal y pen o'r hwn y mae'r holl gorph
wedi ei ymgeleddu ai gyfaddasu â chymalau, ac â
rhwymau, yn cynnyddu gan gynnydd Duw.
20 z Am hynny os ydych feirw gyd â Christ oddi z Phil. 3
wrth wyddorion y byd, pa ham, fel pe baech byw yn 20
y byd eich arweinir wrth draddodiadau?
21 a Na chyffwrdd na archwaetha, na theimla: a Rhuf. 14
22 b Yr hyn oll ydynt mewn llygredigaeth wrth eu 17 b Mat. 15
harfer, yn ol gorchymynnion, ac athrawiaeth dynion. 11
23 Gan yr hyn bethau y mae cyffelybrwydd doeth-
ineb mewn amcan wasanaeth a gostyngeiddrwydd,
meddwl, a bod heb arbed y corph, ac nid mewn
parch i gyflawni y cnawd.

## PEN. III.

*1 Dangos y y mae pa le y mae i ni geisio Christ, 5. yn cynghori i ymfarwhau gan ddiosc yr hen ddyn, a gwysco Crist, 12 gan rodio mewn cariad a gostyngeiddrwydd.*

AM c hynny, os chwi a gyd gyfodasoch gyd â Christ, c Mat. 6
ceisiwch y pethau oddi uchod, lle y mae Crist yn 33
eistedd ar ddeheulaw Duw. a 13, 44, 45
2 Rhoddwch eich bryd ar bethau [sydd] uchod, ac
nid ar bethau [sydd] ar y ddaiar.
3 d Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyd d Rhuf. 6
â Christ yn-Nuw. 2 a 8, 24, 26
4 Pan ymddangoso Crist yr hwn yw ein bywyd, yna
hefyd yr ymddangoswch chwithau gyd ag ef mewn
gogoniant.
5 e Marwhewch gan hynny eich aelodau y rhai sydd e Rhuf. 6
ar y ddaiar, godineb, aflendid, gwyn, drygchwant, a 13 a 8, 13
chubydd-dod, yr hon sydd yn gan-dduwiaeth:
6 f O achos yr hyn bethau y mae digofaint Duw yn f Rhuf. 1
dyfod ar blant yr annufydd-dod. 18. a 2, 8
7 g Ym mha rai y rhodiasoch chwi gynt, pan oedd- g 1 Cor. 6
ech yn byw ynddynt. 11
8 Ond yr awr hon rhoddwch chwi ymmaith y cwbl, Tit. 3, 3
dicter, llid, drygioni, difenwi [a] serthedd [allan] o'ch
genau.
9 h Na ddywedwch gelwydd wrth eu gilydd, gan i h Ioan 8
chwi ymddiosc yr hen ddyn yng-hyd a'i ymarferion: 44
10 A gwisco'r newydd, yr hwn a adnewyddir i wy- Dat. 22
bodaeth yn ol delw yr hwn ei creawdd. 27
11 Lle nid oes na Groegwr nac Iddew, enwaediad
na dienwaediad, Barbariad, Scythiad, caeth, rhydd:
eithr Crist sydd bob dim, ac ym mhob dim.
12 i Am hyny megis etholedigion Duw, sanctaidd, ac i Eph. 4
annwyl, gwisgwch ymysgaroedd tosturiaeth, gostyng- 32
eiddrwydd addfwynder, ac ymaros:
13 Gan gyd-ddwyn ai gilydd, a maddeu iw gilydd
os bydd gan un gweryl yn erbyn neb: megis y madd-
euodd Crist i chwi: felly [gwewch] chwithau.
14 j Ac uwch ben hyn oll gwisgwch gariad, yr hwn j 1 Cor. 13
yw rhwymyn perffeithrwydd. 13
15 A llywodraethed tangneddyf Duw yn eich calon-
au i'r hwn i'ch galwyd yn un corph, a byddwch ddi-
olchgar.
16 k Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth ym- k 1 Tim. 3
mhob doethineb, gan eich dyscu a'ch cynghori eich 16
hunain mewn Psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydawl, Eph. 5, 19
gan ganu yn eich calonnau i'r Arglwydd mewn gras. a 4, 29
17 l A pha beth bynnag a wneloch ar air ne weithred l 1 Cor. 10
31

gwnewch bob dim yn enw'r Arglwydd Iesu gan ddi-
olch i Dduw a'r tad trwyddo ef.
18 Y gwragedd byddwch ostyngedic i'ch gwyr priod
megis y mae yn weddaidd yn yr Arglwydd.
m Eph. 5 28 19 m Y gwŷr cerwch eich gwragedd, ac na fyddwch
Eph. 6, 1 chwerwon wrthynt.
20 Y plant ufyddhewch eich rhieni ym mhob dim,
canys hynny sydd dda iawn gan yr Arglwydd.
Eph. 6, 4 21 n Y tadau na chyffroiwch eich plant rhag iddynt
ddigaloni.
22 Y gweision ufyddhewch i'ch meistred o herwydd
y cnawd ym-mhob dim, nid a llygad-wasanaeth fel
rhyngwŷr bodd dynion, eithr mewn symlrwydd calon
gan ofni Duw.
23 A pha beth bynag a wneloch gwnewch yn gal-
onnog, megis i'r Arglwydd, ac nid i ddynion.
24 Gan wybod mai gan yr Arglwydd y derbyniwch
daledigaeth yr etifeddiaeth, canys yr Arglwydd Grist
yr ydych yn ei wasanaethu.
o Rhuf. 2 9 25 o Eithr hwn a wna gamwedd, a dderbyn am y
2 Cor. 5 10 camwedd a wnaeth efe, ac nid oes derbyn wyneb.

## PEN. IV.

*2 Y mae efe yn eu hannog i fod yn wresog yng-weddi. 5 I rodio yn ddoeth ym mysc y rhai ni ddaethant i wir wybyddiaeth Crist. 10 Y mae yn eu hanerch.*

p Mat. 7 12 CHWITHAU p feistred gwnewch i'ch gweision, hyn
sydd gyfiawn, ac iniawn, gan wybod fod i chwi
feistr yn y nefoedd.
q Luc. 18 1 a 11, 8 2 q Parhewch mewn gweddiau gan wilied ynddynt,
gyd â diolch,
r Rhuf. 16 30 3 r Gan weddio hefyd drosom ni ar i Dduw agori i
ni ddrws yr ymadrodd i adrodd dirgelwch Crist: am
yr hwn yr ydwyf hefyd yn rhwym,
s 1 Cor. 9 16 4 s Fel yr eglurhawyf ef, megis y mae yn rhaid i mi
[ei] draethu.
5 Rhodiwch yn ddoeth tu ag at y rhai sydd allan gan
brynu yr amser.
6 t Bydded eich ymadrodd yn rasol yn bob amser wedi t Luc 4 22
ei dymheru â halen, fel y gwypoch pa fodd y mae yn Marc 9
rhaid i chwi atteb pob dŷn. 51
7 Tychicus yr anwyl frawd, a'r ffyddlon weinidog, a'r
cydwas yn yr Arglwydd a fynega i chwi fy holl gyflwr i.
8 u Yr hwn a ddanfonais i attoch er mwyn hyn, fel u Act. 22
y gwybydde efe eich cyflwr, ac y diddane eich calonau. 30
9 v Gyd ag Onesimus y ffyddlon ar anwyl frawd, yr v Philem
hwn sydd o honoch, hwy a yspysant i chwi am bob 10
peth sydd ymma.
10 w Y mae Aristarchus fyng-hyd garcharor yn eich w Act. 19
annerch, a Marcus nai fab chwaer Barnabas (o blegit 29 a 15.39
yr hwn y derbynniasoch orchymynnion, os daw efe
attoch, derbyniwch ef.)
11 Ac Iesus yr hwn a elwir Iustus, y rhai ydynt o'r
enwaediad, y rhai hyn yn unic ynt fyng-hydweith-
wŷr i yn nheyrnas Dduw, y rhai a fuant yn gyssur i mi.
12 x Epaphras gwâs Crist yr hwn sydd o honnoch, x Rhuf.
sydd yn eich annerch, ac yn oestadol yn ymdrechu 16, 30
drosoch mewn gweddiau, ar i chwi sefyll yn berffaith, 1 Cor. 2, 6
ac yn gyflawn yn oll ewyllys Duw.
13 y Canys yr ydwyf fi yn testiolaethu fod ganddo
zêl mawr drosoch, a thros y rhai o Laodicia a'r rhai o
Hierapolis.
14 z Y mae Lucas y meddig annwyl yn i'ch annerch z Act. 27
a Demas. 1
15 Annerchwch y brodyr, y *rhai ydynt* yn Laodicia 2 Tim. 4.
a Nymphas, a'r eglwys sydd yn ei dŷ ef. 10
16 A phan ddarllener yr Epystol hwn gyd â chwi,
perwch hefyd ei ddarllen yn eglwys y Laodiciaid, a
bod i chwi hefyd ddarllen yr Epystol [a escrifennwyd]
o Laodicia.
17 a A dywedwch wrth Archippus, edrych a'r y
weinidogaeth a dderbyniaist yn yr Arglwydd, fel ei a Luc. 9 62
cyflawnech hi. 2 Tim. 4, 3
18 Yr anerchiad a'm llaw man fi Paul, cofiwch fy
rhwymau, Grâs fyddo gyd â chwi. Amen.

*O Rufain y 'scrifenwyd hwn at y Collossiaid, gyd â Tychicus ac Onesimus.*

---

# YR EPISTOL CYNTAF I St. PAUL,

## AT Y

# THESSALONIAID.

---

## PENNOD. I.

*Y mae efe yn diolch i Dduw drostynt, am eu bod hwy mor ddiyscog mewn ffydd a gweithredoedd da. 6 Ac yn derbyn yr Efengyl mor ddifrif. 7 Fel y maent yn siampl i bawb eraill.*

PAUL a Sylfanus a Thimotheus, at eglwys y Thes-
saloniaid yn-Nuw Tad, ac yn yr Arglwydd Iesu
Grist: Grâs [fyddo] i chwi a thangneddyf gan Dduw
ein Tad a chan yr Arglwydd Iesu Grist.
b Luc 15 10 2 b Yr ydym yn diolch i Dduw yn oestadol trosoch
chwi oll, gan wneuthur coffa am danoch yn ein gwe-
c Gal. 5, 6 1 Cor. 13 4 ddiau,
3 c Yn ddibaid gan goffau gwaith eich ffydd, a'r
poenus gariad, ac ymaros gobaith yn ein Harglwydd
Iesu Grist ger bron Duw, sef ein Tad.
4 d Gan wybod, frodyr annwyl, fod eich etholedig- d Act. 13
aeth chwi o Dduw. 48
5 e Canys ni bu ein Efengyl ni mewn gair yn unic, e 1 Cor. 2
eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Yspryd glân, ac 19
mewn llawn hyder mawr megis y gwyddoch pa ryw 2 Cor. 12
fodd yr oeddem yn eich plith er eich mwyn chwi. 14
6 A chwi a aethoch yn ddilyn-wŷr i ni, ac i'r Ar-
glwydd, ac a dderbyniasoch y gair mewn gorthrym-
der mawr gyd â llawenydd yr Yspryd Glân.
7 f Fel yr oeddech yn siamplau i'r rhai oll a ydynt f 1 Cor. 9
yn credu ym Macedonia ac Achaia. 2 Phil. 1, 14

g Act.8,4 a 11,19 8 g Canys oddi wrthych chwi y seiniodd gair yr
Arglwydd, nid ym Macedonia, ac [yn] Achia yn unic,
eithr ym mhob man yr aeth eich ffydd [chwi] allan
hefyd, yr hon sydd ar Dduw, fel nad rhaid i ni ddy-
wedyd dim.
h Mat. 6 24 9 h Canys y maent yn mynegu am danom ni pa ryw
ddyfodiad i mewn a gawsom ni attoch chwi, a pha
wedd y troasoch at Dduw oddi wrth eulynnod, i
wasanaethu'r bywiol a'r gwir Dduw,
i Act 1,11 a 3 21 10 i Ac i edrych am ei Fab ef o'r nefoedd, yr hwn a
gyfodes efe o feirw, fel Iesu ein gwaredudd ni oddi
wrth y digofaint sydd ar ddyfod.

## PEN. II.

*Er mwyn na ddeffygient dan y groes. 2 Y mae efe yn canmol ei astudrwydd ei hun yn pregethu. 13 A'r eiddynt hwythau, yn ufyddhau. 18 Y mae efe yn ymescusodi am ei fod ymaith, ac na allai ddyfod, ac egluro ei galon iddynt.*

j Act. 17 14 CANYS j chwi eich hunain a wyddoch frodyr, ein
dyfodiad ni i mewn attoch, nad ofer fu.
k Act. 16 12 2 k Eithr wedi i ni ragddioddef, a chael hir draha yn
1Cor.4,9 Philippi (fel y gwyddwch) buom hyderus yn ein
Duw i draethu i chwi Efengyl Duw trwy fawr ymdrech.
l 2Cor. 2 17 3 l Canys ein annog ni nid ydoedd o hûd, nac o
aflendid, nac o dwyll.
m Gal. 1 10 4 m Eithr fel yr oeddem yn gymeradwy gan Dduw
fel i'r ymddiriedid i ni am yr Efengyl, felly yr ydym
yn llefaru, nid fel rhai yn rhyngu bodd i ddynion,
ond i Dduw, yr hwn sydd yn profi ein calonnau.
n Mat.23 14 5 n O blegit ni buom ni erioed mewn ymadrodd
Phil.1,18 gweniaithus fel y gwyddoch chwi, nac yn achlysur i
gubydd-dod, Duw yn dyst.
6 Nac yn ceisio moliant gan ddynion, na chennych
chwi, na chan eraill.
o Rhuf.15 2 7 o Pan allasem fod yn drwm fel Apostolion Crist,
eithr yr oeddem yn dyner yn eich mysc megis mam-
maeth yn cynhesu ei phlant.
8 Felly mewn awydd i chwi y gwelsom yn dda
gyfrannu i chwi, nid yn unic Efengyl Dduw, ond hefyd
ein heneidiau ein hunain, am eich bod yn annwyl
gennym.
p Act. 18 3 a 20,34 9 p Canys cof gennych frodyr ein llafur a'n poen,
canys nyni yn gweithio ddydd a nos rhag pwyso ar
yr un o honoch, a bregethasom i chwi Efengyl Dduw.
q Rhuf.12 17 10 q Tystion ydych chwi, a Duw [hefyd] mor sanct-
aidd, ac mor gyfiawn, ac mor ddiargyoedd yr ym-
ddugasom ni tu ag attoch chwi y rhai ydych yn credu.
r 1Cor. 12 14 11 r Megis y gwyddoch pa fodd y cynghorasom
1 Cor. 4 15 chwi, ac y cyssurasom bôb un o honoch (megis tad ei
blant eu hun)
12 Ac yr ymbiliasom ar rodio o honoch yn deilwng
i Dduw yr hwn ac'h galwodd i'w deyrnas a'i ogoniant:
s Mat. 13 23 13 s O blegit hyn hefyd yr ydym ni yn diolch i Dduw
Act.16,14 yn ddibaid o herwydd pan dderbyniasoch gennym air
1 Cor. 3,5 6 pregeth Dduw, na's derbyniasoch fel gair dŷn, eithr
fel y mae yn ddilys yn air Duw, yr hwn hefyd sydd yn
gweithio ynoch y rhai ydych yn credu.
t Act 17,5 2 Thes. 3 14 t Canys, frodyr, chwi a aethoch yn ddilyn-wŷr
eglwysi Duw y rhai yn Iudæa ydynt yng-Crist Iesu,
am i chwi hefyd ddioddef yr unrhyw bethau gan wyr
eich gwlad, a hwythau gan yr Iddewon.
u Act. 22 2 15 u Y rhai a laddasant yr Arglwydd Iesu, a'i pro-
phwydi eu hunain, ac a'n herlidiasant ninneu, nid yd-
ynt chwaith yn rhyglyddu bodd Duw, ac y maent yn
gwrthwynebu pob dŷn,
16 v Gan wahardd i ni bregethu i'r cenhedloedd (fel v Mat. 23 32
yr iacheid hwy) i gyflawni eu pechodau yn oestadol,
canys digofaint Duw a ddaeth arnynt hyd ei eithaf.
17 Am ein gwneuthur frodyr yn ymddifaid am da-
noch dros ychydig amser yngolwg ac nid yng-halon,
y buom fwy astud i [geisio] gweled eich wyneb, gan
fawr awydd.
18 w Am hynny'r ewyllysiasom ddyfod attoch (myfi w Act. 15 1, 2
Paul yn ddiau un-waith a dwywaith hefyd) eithr a 21, 17
lluddiodd Satan nyni.
19 x Canys beth yw ein gobaith, neu laweuydd neu x 2Tim. 4 8
goron [ein] gorfoledd? ond chwychwi yng-wydd ein 2Tim.4,1
Harglwydd Iesu Grist yn ei ddyfodiad ef:
20 Canys chwi ydych ein gogoniant a'n llawenydd.

## PEN. III.

*2 Dangos y mae faint ei serch iddynt, am iddo ddanfon Timotheus attynt, 10 A hefyd ei fod yn gweddio trostynt.*

AM hynny gan na allem ymmatal yn hwy, y tybia-
som fod yn oref aros yn Athen ein hunain,
2 y A hebrwng Timotheus ein brawd, a gwenidog y Phil. 2
Duw, a'n cyweithwr yn Efengyl Crist i'ch cadarnhau, 17
ac i'ch diddanu yng-hylch eich ffydd. Act 1,21 Rhuf. 1
3 Fel na chynhyrfid neb yn y gorthrymderau hyn: 12
canys chwychwi eich hunain a wyddoch ein darparu
ni i hyn.
4 z Canys yn wir pan oeddem gyd â chwi rhag-ddy- z Act. 14
wedasom i chwi y bydde i ni gael gorthrymderau, 22 Ioan 16,1
megis y darfu, ac y gŵyddoch. 33
5 a O blegit hyn, pryd na allwn ymattal yn hwy, Gal 4,29. Gen 3,1
mi a ddanfonais i gael gŵybod eich ffydd, rhag temtio a Mat. 4,3
o'r temtiwr chwi, a myned ein llafur yn ofer. 2Cor. 11 3
6 Eithr yn hwyr yr awrhon wedi dyfod Timotheus Mat.15,21
oddiwrthych chwi attom ni, a mynegu i ni ddaioni am
eich ffydd, a chariad a bod gennych gof da am da-
nom yn oestadol, gan ddeisyfio cael ein gweled, megis
[yr ydym] ninneu hefyd am danoch chwithau.
7 Am hyny frodyr, yr ydym ni yn cael cysur o hon-
och chwi yn ein holl orthrymder, a'n anghenoctid
trwy eich ffydd chwi,
8 b Am ein bod ni yr awron yn byw os ydych chwi b Act. 20 24
yn sefyll yn yr Arglwydd. 1 Cor. 16 13
9 Canys pa ddiolch allwn ni ei ad-talu i Dduw tros-
och chwi; am yr holl lawenydd yr ydym ni yn ei gael
o'ch achos chwi ger bron ein Duw?
10 c Gan weddio yn dra rhagorol ddydd a nos ar c Eph. 4
weled o honoch eich wyneb, a chyflawni yr hyn sydd 12 Heb. 6,1
yn eisieu i'ch ffydd.
11 A Duw ei hun, sef ein Tad a'r Arglwydd Iesu
Grist, a gyfarwyddo ein ffordd atoch chwi.
12 d A'r Arglwydd a'ch lluosogo, ac a'ch amlhao d Col. 2
mewn cariad iw gilydd, ac i bawb, megis yr ydym 19 Pen.4,10
ni i chwi,
13 I gadarnhau eich calonnau yn ddiargyhoedd
mewn sancteiddrwydd ger bron Duw, sef ein Tad yn
nyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist gyd â'i holl saint.

## PEN. IV.

*1 Y mae efe yn eu hannog i sancteiddrwydd, 6 Gwiriondeb, 9 Cariad, 11 Llafur, 13 A chymmedrol alar am y meirw. 17 Gan ddosparthu diwedd yr adgyfodiad.*

AC e heb law hyny yr ydym yn attolwg i chwi e Col. 1, 10
frodyr, ac yn deisyf yn yr Arglwydd Iesu, ar i 1 Cor. 15 58
chwi gynnyddu fwy-fwy, megis y derbyniasoch gen- f Mat. 28 20
nym, pa fodd y dylech rodio, a bodloni Duw.
2 f Canys gwyddoch pa orchymynnion a roddasom i 1 Cor. 11 23

chwi trwy yr Arglwydd Iesu.
g 2 Cor. 7 1 3 [g] Canys hyn yw ewyllys Duw [sef] eich sancteidd-
Pen. 5, 23 iad chwi, ac ymgynnal o honoch oddi wrth odineb,
4 [A] gwybod o bob un o honoch pa fodd y medd-
ianna ei lestr mewn sancteiddrwydd, ac anrhydedd,
h Col. 3. 5 5 [h] Nid mewn gwŷn trachwant megis y cenhedloedd,
2 Thes 1 8 y rhai nid adwaenant Dduw.
6 Na fydded i neb orthrymmu na thwyllo ei frawd
mewn masnach: canys yr Arglwydd sydd ddialudd
ym mhob cyfryw beth, megis y rhag-ddywedasom i
chwi, ac y tystiasom.
7 [i] O blegit nas galwodd Duw nyni i aflendid, onid
i Tit. 2, 11 i sancteiddrwydd.
8 Am hynny y neb a escaeluso [y pethau hyn] nid
dyn y mae yn escaeluso, onid Duw yr hwn a roddes
ei Yspryd Glan ynom.
9 A thu ag at am frawdgarwch nid rhaid i chwi
scrifennu [o honof] attoch: canys dyscwyd chwi gan
Dduw i garu eu gilydd.
j Mat. 23 10 [j] Oblegit yr ydych yn gwneuthur hyn i bawb o'r
3 Iago 2, brodyr, y rhai sy trwy holl Macedonia ac yr ydym yn
16 attolwg i chwi frodyr gynnyddu o honoch fwy-fwy,
k 1 Pedr 11 [k] A rhoddi o honoch eich bryd ar fod yn llonydd,
3, 15 a gwneuthur y pethau sy eiddoch eich hunain megis
y gorchymynnasom i chwi:
l Col. 4, 5 12 [l] Fel yr ymddygoch yn weddaidd tu ag at y rhai
Rhuf. 12 sydd oddi allan, ac na byddo arnoch eisieu dim.
17 13 Nid ewyllysiwn frodyr eich bod yn anwybod am
y rhai sy yn huno, fel na chymmeroch drymder, megis
eraill y rhai nid oes ganddynt obaith.
14 Canys os ydym yn credu farw Iesu, a'i adgyfodi,
felly y rhai a hunasant yn Iesu a ddwg Duw gyd ag ef.
m Mat. 25 15 [m] Canys hyn yr ydym yn ei ddywedyd wrthych
31 yng-air yr Arglwydd, na bydd i ni y rhai fyddwn yn
fyw, ac wedi ein gadel yn nyfodiad yr Arglwydd,
ragflaenu y rhai a hunasant.
n Luc 19 16 [n] Canys yr Arglwydd ei hun a ddyscyn o'r nef
12 1 Cor. 15 gyd â gawr, a llef yr Arch-angel, ac ag udgorn Duw,
23 a'r meirw yng-Hrist a gyfodant yn gyntaf.
Dan. 12 17 [o] Yna ninnau y rhai fyddwn byw, ac wedi ein
13 o Phil. 3 gado a gymmerir yn y man gyd â hwynt yn yr wy-
21 Dat 3, 21 brennau i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr: ac felly
Ioan 14. 2 yn oestadol y byddwn gyd â'r Arglwydd.
p 2 Pedr 3 18 [p] Am hynny diddenwch eu gilydd â'r ymadrodd-
11 Mat. 24 ion hyn.
44

## PEN. V.

*Y mae yn yspysu iddynt am ddydd brawd, ac am ddyfodiad yr Arglwydd. 6 Gan eu hannog i wilied. A synnied ar y rhai sy yn pregethu gair Duw yn eu plith hwy.*

AC am yr amserau a'r prydiau, frodyr, nid rhaid i
chwi scrifennu o honof attoch.
q Dat. 16 2 [q] O blegit chwi eich hunain a wyddoch yn hyspys
15 y daw dydd yr Arglwydd fel lleidr o hyd nos.
Mat. 24 3 [r] Canys pan ddywedant, Tangneddyf a diogelwch,
37 Dat. 18, 7 yna y daw arnynt ddestruwiad disymmwth megis gofid
8 Luc 21, 34
gwraig feichiog wrth escor, ac ni ddiangant.
4 Ond chwychwi frodyr, nid ydych mewn tywyll-
wch fel y goddiweddo y dydd hwnnw chwi megis
lleidr.
5 [s] Eithr chwychwi oll plant y goleuni ydych, a s Phil. 2 15
phlant y dydd: nid ydym ni yn eiddo'r nôs na'r Rhuf. 13
tywyllwch, 12
6 [t] Am hynny na chyscwn fel eraill, eithr gwiliwn a' t Luc 21
byddwn sobr. 34
7 Canys y rhai a gyscant, y nôs y cyscant, a'r rhai 1 Pedr 4
a feddwant, y nôs y meddwant: 8
8 [u] Eithr nyni y rhai ydym o'r dydd, byddwn sobr u Eph. 6
wedi ymwisco â dwyfronneg ffydd, â chariad, a go- 11
baith yr iechydwriaeth yn lle helm.
9 [v] Canys ni ddarparodd Duw nyni i ddigllonedd: ond v Eph. 1
i gaffael iechidwriaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist. 10
10 Yr hwn a fu farw trosom, fel pa un bynnag a
wnelom a'i gwilied a'i cyscu, y byddom fyw gyd ag ef.
11 O herwydd pa ham cynghorwch bawb ei gilydd
ac adeiladwch bob un ei gilidd megis yr ydych yn
gwnutehur.
12 [w] Ac yr ydym ni yn attolwg i chwi frodyr, adna- w 1 Tim. 5
bod y rhai sy yn llafurio yn eich mysc, ac ydynt i'ch 17
llywodraethu yn yr Arglwydd, ac yn eich rhybyddio.
13 [x] A rhoddwch eich traserch arnynt er mwyn eu x 2 Thes.
gwaith hwy: Byddwch dangneddefus yn eich plith 3, 10
eich hunain.
14 [y] Ac yr ydym yn deisyf arnoch frodyr, rhybudd- y 2 Thes
iwch y rhai anllywodraethus: diddenwch y rhai gwan 3, 11
feddwl: cynheliwch y gweniaid, byddwch ymarhoes Heb. 12
wrth bawb. 12
15 [z] Gwelwch na thalo neb ddrwg dros ddrwg i neb: z Rhuf. 12
eithr yn oestadol dilynwch yr hyn fydd dda i chwi 17
eich hunain, ac i bawb.
16 Byddwch lawen yn oestadol.
17 Gweddiwch yn ddibaid.
18 Ym mhôb dim diolchwch: canys hyn yw ewyll-
ys Duw yng-Grist Iesu tu ag attoch.
19 [a] Na ddiffoddwch yr Yspryd. a 2 Tim. 1
20 [b] Na ddirmygwch brophwydoliaeth. 6, 7
21 Profwch bob dim, ac atteliwch yr hyn sydd dda. b 1 Cor. 14 1
22 Ymgedwch rhag pob rhith drygioni.
23 [c] A Duw y tangneddyf a'ch sancteiddio yn gwbl c Phil. 1
oll, a chadwer eich yspryd oll, a'ch enaid, a'ch corph 10, a 3, 18
yn ddiargyhoedd yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu
Grist.
24 [d] Ffyddlon yw'r hwn a'ch galwodd, yr hwn hefyd d 1 Cor. 1
ai gwna. 9
25 [e] O frodyr gweddiwch drosom. 2 Thes. 3
26 [f] Anherchwch yr holl frodyr â chusan sancteidd- 3 Tit. 1. 2
iol. e Rhuf. 15 30
27 Yr ydwyf yn eich tynghedu yn yr Arglwydd ar Eph. 6. 19
ddarllen y llythyr hwn i'r holl Saint y brodyr. f Rhuf. 16 16
28 [g] Gras ein Harglwydd Iesu Christ fyddo gyd â i Rhuf. 16
chwi. Amen. 20

*Cyntaf at y Thessaloniaid a scrifennwyd o Athen.*

# AIL EPISTOL St. PAUL

## AT Y

# THESSALONIAID.

### PFNNOD. I.

*Diolch i Dduw y mae am eu ffydd hwy, a'u cariad, a'u di-*
*oddefgarwch. 11 Y mae yn gweddio ar chwanegu y cyn-*
*neddfau hynny. 12 Ac yn dangos pa ffrwyth i ffydd oddi*
*wrth hynny.*

PAUL a Sylfanus, a Thimotheus at eglwys y
Thessaloniaid, yn-Nuw ein Tad, a'r Arglwydd
h 1 Cron Iesu Grist,
29,14 2 h Gràs i chwi a thangneddyf oddi wrth Dduw ein
Tad a'n Harglwydd Iesu Grist.
i Mat. 13 23 3 i Diolch a ddylem i Dduw yn oestadol drosoch
frodyr, fel y mae yn addas, am fod eich ffydd yn tyfu
yn ddirfawr, a bod cariad pob un o honoch chwi oll
yn cynnyddu tu ag at eu gilydd.
j 1 Cor. 9 4 j Fel yr ydym ninnau yn gorfoleddu o'ch plegit yn
2 Rhuf. 5,3 eglwysi Duw, o herwydd eich ammynedd a'ch ffydd
yn eich holl erlid, a'r cystudd y rhai yr ydych yn eu
goddef,
k 1 Pedr 1 17 5 k [Yr hyn] sydd argoel [goleu] o gyfiawn farn
Luc 23, 31 Duw, fel i'ch cyfrifer yn deilwng i deyrnas Dduw, er
mwyn yr hon yr ydych hefyd yn goddef.
l Rhuf 6 6 l Canys cyfiawn yw gan Dduw, dalu cystudd i'r
Gen 18, 23 sawl sydd yn eich cystuddio chwi.
Mat. 7,2 7 Ac i chwithau y rhai a gystuddir lonyddwch gyd
Lev. 22, à ni yn ymddangosiad yr Arglwydd Iesu o'r nef gyd
22, 24 ag angelion ei nerth.
m Luc 12 8 m Yn dân fflamllyd gan roddi dial i'r sawl nid ad-
48 Heb. 2,2 waenant Dduw, ac nid ufyddhant i Efengyl ein Har-
3 glwydd Iesu Grist.
9 Y rhai a ddioddefant yn gospedigaeth ddinistr
tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddi wrth
ogoniant ei gadernid ef.
n Luc 22 10 n Pan ddêl efe iw ogoneddu yn ei sainct, ac iw
30 1 Cor. 6,2 wneuthur yn rhyfedd yn y rhai oll a gredant, o her-
3 1 Cor. 2,9 wydd credu ein testiolaeth ni tu ag attoch yn y dydd
1 Bren. 10 7 hwnnw.
11 Am ba achos yr ydym hefyd yn gweddio yn oes-
tadol trosoch ar fod i'n Duw eich gwneuthur yn deil-
wng [i'w] alwedigaeth, a chyflawni pob ewyllys da am
[ei] ddaioni, a gwaith ffydd yn nerthol,
o Tit 3, 5 12 o Fel y gogonedder enw ein Harglwydd Iesu
2 Tim. 1,9 Grist ynoch chwi, a chwithau ynddo yntef, yn ol gras
ein Duw a'n Harglwydd Iesu Grist.

### PEN. II.

3 *Dangos y mae iddynt na ddaw dydd yr Arglwydd nes*
*dyfod ymadael â'r ffydd yn gyntaf. 9 A theyrnas ang-*
*hrist. 15 Ac am hynny y mae yn eu rhybuddio rhag eu*
*hudo, eithr sefyll o honynt yn ddiyscog yn y pethau a*
*ddyscodd efe iddynt.*

p 2 Tim. 4 1 AC p yr ydym yn attolwg i chwi frodyr, er dyfod-
Rhuf. 2,5 iad ein Harglwydd Iesu Grist, a'n cydgynhull-
iad atto ef,
q Ioan 4 1 2 q Na'ch sylfer yn fuan o'r [un] meddwl, ac na'ch
1 Pedr 4 cynhyrfer, na chan yspryd, na chan air, na chan lythr,
7 megis oddiwrthym ni, fel pe bai ddydd Crist yn gy-
fagos.

3 r Na thwylled neb chwi trwy un modd am [na r 1 Tim. 4 1
ddaw 'r dydd hwnnw] nes dyfod ymadawiad yn gynt- 1 Ioan 3 4
af, a datguddio y dyn pechadurus mab destryw.
4 Yr hwn sydd yn gwrthwynebu, ac yn ymdderchafu Dat. 17,2
yn erbyn pob dim a elwir yn dduw, neu a addolir: Dat. 19 20. a 9,11
hyd onid eistedd megis Duw yn nheml Dduw, gan
ei ddangos ei hun mai efe yw Duw.
5 Ond cof gennych chwi pan oeddwn etto gyd â
chwi, ddywedyd o honof y pethau hyn?
6 Ac yr awr hon y gwyddoch y rhwystr sydd, i'w
ddatcuddio ef yn ei amser.
7 s Canys dirgelwch yr anwiredd sydd yn gweithio s Dat. 17, 5. a 2, 24
eusus, yn unic yr hwn sydd yn awr yn rhwystro, a 1 Ioan 4 2
rwystra nes myned a'i dynnu ymmaith. 3 Ioan 9
8 t Ac yna y datcuddir yr anwir hwnnw, yr hwn a t Dat 19
ddifetha 'r Arglwydd â'g Yspryd ei enau, ac a ddileua 20
â disgleirdeb ei ddyfodiad.
9 [Sef] yr hwn y mae ei ddyfodiad yn ol gweithred-
iad Satan mewn pob nerth, ac arwyddion, a rhyfedd-
odau gau,
10 u Ac mewn pob twyll anghyfiawnder yn y rhai u Dat 13
colledig, gan na dderbyniasant gariad y gwirionedd, 8 Sal 109
fel y cedwid hwynt. 17
11 Am hynny y denfyn Duw iddynt amryfusedd
cadarn, fel y credant gelwyddau,
12 v Fel y barner yr holl rai ni chredasant i'r gwirion- v Dat 19
edd, ond a fuant fodlon i anghyfiawnder. 21
13 Eithr nyni a ddylem ddiolch yn oestad i Dduw w 2 Tim 1
trosoch, frodyr annwyl gan yr Arglwydd, o blegit i 9
Dduw o'r dechreuad eich dethol chwi i iechydwriaeth,
trwy sancteiddiad yr Yspryd, a ffydd i'r gwirionedd.
14 x I'r hyn y galwodd efe chwi trwy ein Efengyl i x Rhuf 1
feddiannu gogoniant ein Harglwydd Iesu Grist. 16 Phil 3, 21
15 Am hynny frodyr, byddwch safadwy, a chynhel-
iwch y traddodiadau y rhai a ddyscasoch [pa un byn-
nag] ai trwy ymadrodd, ai trwy ein Epistol ni.
16 y Ac yntef ein Harglwydd Iesu Grist a'n Duw, y Rhuf 8
sef ein Tad yr hwn a'n carodd, ac a roddes i ni ddidd- 24
anwch tragywyddol a gobaith da trwy ras,
17 z A ddiddano eich calonnau, ac a'ch sicrhao ym z Ioan 14
mhob gair a gweithred dda. 16 2 Cor 1,4

### PEN. III.

*Deisyf y mae arnynt weddio trosto, ar ffynnu ganddo breg-*
*ethu 'r Efengyl. 6 A'u rhybuddio i geryddu y rhai segur.*
*16 A dymuno iddynt dangneddyf.*

BELLACH, a frodyr, gweddiwch trosom ar redeg a Act 6,7
o air yr Arglwydd rhagddo a'i ogoneddu, megis a 13, 49
gyd â chwithau,
2 Ac ar ein gwaredu ninnau oddi wrth ddynion an-
hywaith a drygionus, canys nid oes ffydd gan bawb.
3 Eithr y mae yr Arglwydd yn ffyddlon, yr hwn
a'ch sicrha, ac a'ch ceidw rhag drwg.
4 b Ac yr ydym yn gobeithio am danoch trwy 'r Ar- b Rhuf 2 7
glwydd, eich bod chwi yn gwneuthur, ac y gwnewch 2 Pedr 2
rhag llaw yr hyn yr ydym yn eu gorchymyn i chwi. 21
5 c A'r Arglwydd a gyfarwyddo eich calonnau i garu c Dat 12 11

Duw, ac i ymaros am Grist.
d 1Cor 5 4 6 d Ac yr ydym yn gorchymyn i chwi frodyr yn enw
Mat 15, 'r Arglwydd Iesu Grist dynnu o honoch ymmaith oddi
15, 17 1 Thes 5 wrth bob brawd, a'r sydd yn rhodio yn anllywodraeth-
14 us, ac nid yn ol y traddodiad a dderbyniodd [efe]
gennym ni.
7 Canys chwy-chwi eich hunain a wyddoch pa fodd
y dylech ein dilyn ni: canys nid ymddugasom yn an-
llywodraethus yn eich mysc chwi.
e Act 18 3 8 e Ac ni fwytasom fara gan neb yn rhad, onid gan
weithio trwy lafur a lludded nos a dydd, er mwyn na
phwysem ar neb o honoch.
f 1 Cor 9 4 9 f Nid o herwydd nad ydoedd gennym awdurdod,
1 Tim 5 17 namyn fel y rhoddem ein hunain yn siampl i chwi i'n
dilyn.
10 Canys pan oeddym gyd a chwi, o hyn i'ch rhy-
buddiasom, fel os bydde neb ni weithie, na chai fwyta
ychwaith.
g 1 Thes 1 4 11 g Canys clywsom fod rhai yn rhodio yn eich plith
yn anllywodraethus heb weithio dim, onid bod yn
rhodrescar.
12 Y cyfryw yr ydym ni yn eu rhybuddio, ac yn
attolwg er ein Harglwydd Iesu Grist, ar iddynt gan
weithio yn llonydd fwyta eu bara eu hunain.
13 h A chwithau frodyr na ddeffygiwch yn gwneuth- h Gal 6, 9
ur daioni.
14 i Od oes neb nid ufuddhao ein hymadrodd yspys- i 1Tim 4 21
wch ef trwy lythr, ac na fydded i chwi gymdeithas ag
ef, megis y cywilyddio efe.
15 j Er hynny na chymmerwch ef fel gelyn, eithr j Mat 7 6
cynghorwch ef fel brawd,
16 k Ac Arglwydd y tangnheddyf ei hun a roddo i k Mat 9 50
chwi dangnheddyf yn oestadol ym mhob modd: yr Rhuf 12 8
Arglwydd fyddo gyd a chwi oll. Iago 3, 1
17 Y cyfarch am llaw mau fy Paul yr hyn sydd ar-
wydd ym mhob Epistol: fel hyn yr ydwyf yn scrifenu,
18 Gras ein Harglwydd Iesu Grist, gyd a chwi oll,
Amen.

*Yr ail at y Thessaloniaid a scrifennwyd o Athen.*

---

# YR EPISTOL CYNTAF I PAUL
## AT
# TIMOTHEUS.

---

### PENNOD I.

*3 Y mae efe yn annog Timotheus i wilio ar ei swydd, yn enwedig ar iddo edrych na ddyscer dim i'r bobl onid gair Duw. 5 Gan fynegu diwedd y gorchymyn. 20 A rhybuddio am Hymeneus ac Alexander.*

PAUL Apostol Iesu Grist trwy ordeinhâd Duw ein
Iachawdr, a'r Arglwydd Iesu Grist ein gobaith.
2 At Timotheus fy mab naturiol yn y ffydd: gras,
trugaredd, a heddwch gan Dduw ein Tad, a Christ
Iesu ein Harglwydd.
3 Megis y deisyfiais arnat aros yn Ephesus pan aethym
i Macedonia, [gwna felly] fel y gellych rybuddio rhai,
na ddyscant amryw ddysceidiaeth,
l Tit 3, 9 Pen 4, 7 4 l Ac nad ystyriant chwedlau, ac achau annorphen,
Rhuf. 15 2 y rhai sy yn peri cwestiwnau yn fwy nag adeiladaeth
dduwiol yr hon sydd trwy ffydd.
m Rhuf 13, 8 5 m Eithr diwedd y gorchymyn ydyw cariad o galon
Gal 5, 6 bur, a chydwybod dda, a ffydd ddiau.
6 Oddi wrth ba rai y gŵyrodd rhai, ac y troasant at
ofer ymadrodd.
7 Y rhai a fynnent fod yn ddoctoriaid y gyfraith heb
n Rhuf 7 12, 14 na deall yr hyn a ddywedant, na'r hyn a daeren.
8 n Eithr nyni a wyddom mai da yw 'r gyfraith, os
o Rhuf 6 11 a 7, 6 arfer dyn hi yn gyfreithlon.
9 o Gan wŷbod hyn, na roddwyd y gyfraith i'r cyf-
iawn, eithr i'r rhai anwir ac anufudd, i'r rhai annuw-
iol a'r pechaduriaid, i'r rhai anghyfiawn a'r rhai aflan,
i leiddiaid tad, a lleiddiaid mam, ac i leiddiaid dynion,
p 2Tim 1 13 a 2, 17 10 p I butein-wŷr, i rai Sodomiaidd, i ladron dynion,
i rai celwyddog, i anudon-wŷr, ac od oes dim arall
yr hwn sydd wrthwyneb i athrawiaeth iachus,
11 [Yr hon sydd] ar ôl gogoneddus Efengyl y ben-
digedig Dduw, yr hon a ymddyriedwyd i mi.
12 q Ac yr ydwyf yn diolch i'r hwn a roes i mi allu, q 1Cor 15 10
sef Crist Iesu ein Harglwydd: am iddo fyng-hyfrif yn 2Cor. 3, 5
ffyddlon, gan fyng-osod yn y weinidogaeth.
13 r A mine o'r blaen yn gabl-wr, ac yn erlidi-wr, ac r Mat 18 32
yn drahaus: eithr mi a gefais drugaredd, mewn annwy-
bod y gwneuthum drwy ang-hredyniaeth.
14 A gras ein Harglwydd a dra-amlhaodd gyd â
ffydd a chariad, yr hwn sydd yng-Hrist Iesu.
15 s Gair gwir, ac ym mhob modd yn heuddu ei s Mat 19 13
dderbyn [yw,] dyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pech- 1 Cor 15 9
aduriaid, o ba rai pennaf ydwyfi.
16 t Eithr o achos hyn y cefais drugaredd fel y dan- t 1Cor 6 11
gose Iesu Grist ynofi yn gyntaf bob hir oddef, er siampl Luc 7, 37
i'r rhai a gredant rhag-llaw ynddo ef, i fywyd tragy- 1 Pedr 1 1
wyddol.
17 Ac i'r Brenin tragywyddol, anfarwol, anweledig,
unic synhwyrol Duw, y byddo anrhydedd a gogoniant
yn oes oesoedd. Amen.
18 Y gorchymyn hwn yr ydwyf yn ei roddi i ti [fy]
mab Timotheus: yn ol y prophwydoliaethau a gerdd-
asant o'r blaen am danat, filwrio o honot filwriaeth dda.
19 u Gan fod gennit ffydd a chydwybod dda yr hon u 1Tim 6 10
wrthododd rhai, ac a wnaethant long-ddrylliad am y
ffydd.
20 v O ba rai y mae Hymeneus, ac Alexander, y rhai v 1Cor 5, 5
a roddais i Satan, fel y dyscent na chablent. 2 Thes. 3 14

### PEN. II.

*Y mae yn annog i weddio dros bob dyn. 4 Am ymwreddiad, a dillad gwragedd.*

w Mat 5 44 Ioan 17,9 CYNGHORI [w] yr ydwyf am hynny, ym mlaen pob
peth, fod ymbil, gweddiau, deisyfiadau a thalu
diolch dros bob dyn.
2 [x] Dros frenhinoedd, a phawb a osodwyd mewn
x Rhuf 13 1 awdurdod, fel y gallom ni fyw yn llonydd, ac yn
heddychol trwy bob duwioldeb, ac honestrwydd.
3 Canys hyn sydd dda a chymmeradwy ger bron
Duw ein ceidwad:
y Rhuf 9 19 4 [y] Yr hwn a fynn fod pob dyn yn gadwedig, a'u
dyfod i wybodaeth y gwirionedd.
z Act 4 12 5 [z] Canys un Duw sydd, ac un cyfryng-ŵr rhwng Duw
a dŷn, [sef] y dyn Crist Iesu,
6 [a] Yr hwn a'i rhoddes ei hunan yn brid-werth dros
a Ioan 3 16 bawb, [ac] yn destiolaeth yn ei iawn bryd.
7 O'r hyn i'm gosodwyd yn bregeth-ŵr, (ac yn
Apostol, gwir yr wyf yn ei ddywedyd yng-Hrist heb
gelwydd) [sef] athro y cenhedloedd mewn ffydd a
gwirionedd.
8 Am hynny mi a fynnwn i wyr weddio ym mhob
man gan dderchafu dwylo purion, heb ddigter nac
ymryson:
b 1 Pedr 3, 3 9 [b] Felly hefyd i wragedd ymwisco mewn dillad
gweddus, gyd â lledneisrwydd, a chymmesurwydd, nid
â gwallt plethedig neu aur, neu gemmau, neu wysc
werthfawr.
10 Eithr (megis y gwedde i wragedd yn addo duw-
ioldeb, a gweithredoedd da.
c 1 Pedr 3, 7 11 [c] Dysced gwraig mewn distawrwydd, yng-hyd a
phob gostyngeiddrwydd.
12 Ond nid ydwyf yn dioddef i wraig draethu dysc,
nac arfer awdurdod ar y gŵr: eithr bod mewn distaw-
rwydd.
13 Canys Adda a luniwyd yn gyntaf: yna Efa.
d Gen 3 14 [d] Ac nid Adda a dwyllwyd, eithr y wraig wedi ei
1, 3, 6, 11 thwyllo a aeth yn [achos] camwedd.
e Luc 1 42 15 [e] Etto hi a fydd cadwedig gan ddwyn plant os
Mat 10, 21 hwy a arhosant yn y ffydd, a chariad, a sancteidd-
rwydd yng-hyd â chymmesurwydd.

## PEN. III.

*Iawn gynneddfau eglwys-wyr a thylwyth eu tŷ, neu eu teulu. 15 Braint yr eglwys.*

YRADRODD [f] gwir yw hwn, od yw neb yn ew-
f Mat 9 38 yllysio swydd escob, y mae yn chwennychu gwaith
Pen 5, 17 da.
g Tit 1, 9 2 [g] Rhaid gan hynny i'r escob fod yn ddiargyoedd,
2 Cor 12 15 yn wr un wraig, yn wiliadwrus, yn gymhesur, yn we-
ddaidd, yn lleteugar, yn athrawaidd,
3 Nid yn win-gar, nid yn darawudd, nid yn chwan-
nog i fydr-elw, eithr yn llariaidd, nid yn ymladdgar,
yn ddi-gybudd,
4 Yn llywodraethu ei dŷ ei hun yn dda, yn cynnal
ei blant dan ufydd-dod, yng-hyd â phob onestrwydd.
h Act 20 5 [h] Canys oni feidr un lywodraethu ei dŷ ei hun: pa
28 fodd y gofala efe tros eglwys Dduw?
6 Nid yn yscolhaig ieuangc, rhag iddo wedi ym-
chwyddo syrthio i farn diafol.
i Act 6 a 7 [i] Ac y mae yn rhaid iddo ef hefyd gael gair da gan
Pen 5 10 ddieithriaid, rhag digwydd mewn gwarth a magl
diafol.
j Act 6, 2 8 [j] Felly hefyd y diaconiaid yn onest, nid â thafodau
3 dau-ddyblyg, nid wedi ymroi i lawer o win, nid yn
Sal 12, 2 budr-elwa,
k 1 Cor 2 9 [k] Yn hala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur.
6, 7 10 Profer y rhai hyn hefyd yn gyntaf, ac yna gwas-
anaethant, os byddant ddiargyhoedd.
11 Felly hefyd [bod eu] gwragedd yn onest nid â
thafodau drwg, eithr yn sobr, [a] ffyddlon yn mhob
peth.
12 Bod y diaconiaid yn wyr un wraig, ac yn llyw-
odraethu yn dda eu plant a'u tai eu hun.
13 [l] Canys y rhai a wasanaethant yn iawn a ennillant l Rhuf 12
iddynt eu hunain radd dda, a rhydd-did mawr trwy'r 8
ffydd, yr hon sydd yng-Hrist Iesu. Luc 19 17
14 Hyn yr ydwyf yn ei scrifenu attat, gan obeithio
y deuaf attat ar fyrder.
15 [m] Ond os tariaf yn hir, fod i ti wybod pa fodd y m Mat 24
bydd rhaid i ti ymddwyn yn nhŷ Dduw, yr hwn ydyw 45 a 13 52
eglwys y Duw byw, colofn, a sylfaen y gwirionedd.
16 [n] Ac yn ddi-ddadl, mawr ydyw dirgelwch duw- n Ioan 1
ioldeb Duw a ymddangosodd mewn cnawd, a gyfiawn- 1
wyd yn yr Yspryd, a welwyd gan angelion, a bregeth- Jos 1 14
wyd i'r cenhedloedd, a gredwyd iddo yn y byd, ac a Eph 1, 20
gymerwyd i fynu mewn gogoniant.

## PEN. IV.

*2 Rhybydd pa ddysg a ddylid gilio rhagddi. 6 A pha un ei chanlyn. 15 Ac yn mha orchwyl y dylai eglwys-wr ymarfer beunydd.*

AR'R [o] Yspryd sydd yn dywedyd yn eglur yr ymedu o 2 Thes 2
rhai yn yr amseroedd diweddaf o'r ffydd, gan 3
roddi coel i ysprydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau 2 Thes 2 12
cythreuliaid,
2 [p] Y rhai ydynt yn dywedyd celwydd mewn rhag- p Dat 13
rith, a'u cydwybod wedi ei llosgi â haiarn brŵd. 11 Eph 4, 18
3 Yn gwahardd priodas, [ac yn erchi ymatal oddi
wrth fwydydd y rhai a greawdd Duw i'w mwynhau
trwy dalu diolch i'r ffyddloniaid, ac i'r rhai a adwaen-
ant y gwirionedd.
4 [q] Canys pa beth bynnag a greawdd Duw da ydyw, q Act 10
ac nid oes dim i'w wrthod, os cymerir trwy dalu 15 Mat 14
diolch. 19
5 O herwydd ei sancteiddio trwy air Duw a gweddi.
6 Os gosodi hyn o flaen y brodyr, byddi weinidog
da i Iesu Grist, yr hwn i'th fagwyd mewn geiriau'r
ffydd, ac athrawiaeth dda, yr hon a ddilynaist.
7 Eithr gad heibio halogedig, a gwrachiaidd chwedl-
au, ac ymarfer di dy hun i dduwioldeb.
8 [r] Canys i ychydig y mae ymarfer corphorol yn r Col 2
fuddiol, eithr duwioldeb sydd fuddiol i bob peth a 23
chenddi addewid o'r bywyd sydd, ac o'r hwn fydd. Mat 6 33
9 Y gair hwn sydd wir, ac yn mhob modd yn hen-
ddu ei dderbyn:
10 [s] O blegit er mwyn hyn yr ydym yn poeni, ac yn s 2 Cor 11
cael ein gwradwyddo, o herwydd ein bod yn gobeithio 23
yn Nuw byw yr hwn ydyw achubydd pob dyn, yn Mat 6, 21
enwedig y ffyddloniaid.
11 Y pethau hyn, gorchymyn, a dysc.
12 [t] Na ddiystyred neb dy ieuengtid ti, eithr bydd t 1 Pedr 5
i'r ffyddloniaid yn siampl mewn gair, mewn ymddyg- 3
iad, mewn cariad, mewn yspryd, mewn ffydd, a di-
weirdeb.
13 Hyd oni ddelwyf fi, ymosot ti i ddarllen, i gyng-
hori, ac i athrawiaethu.
14 Nac escaelusa y dawn sydd ynot ti, yr hwn a
rodded i ti trwy brophwydoliaeth, gan arddodiad
dwylo yr henuriaeth.
15 Arfer y pethau hyn, a pharha yn hyn, fel y byddo
dy gynnydd yn eglur ym mhlith pawb.
16 [u] Gwilia arnat dy hun, ac ar athrawiaeth, parha u Rhuf 10 17
yn hyn: canys o gwnei di hyn, ti a'th gedwi dy hun, 1 Cor 3, 5 7
a'r rhai a wrandawant arnat.

## PEN. V.

*Pa wedd y mae ceryddu pob gradd. 3 Trefn o blegit gwrag-edd-gweddwon. 17 A gweinidogion eglwysic. 24 Amryw farn am bechodau.*

NA cherydda henaf-gwr, eithr cynghora megis tad,
y rhai ieuaingc megis brodyr.
2 Yr hên wragedd megis mammau, y rhai ieuaingc
megis chwiorydd, â phob diweirdeb.
3 Anrhydedda'r gwragedd-gweddwon y rhai sy wir
weddwon.
4 Eithr o bydd un weddw, ac iddi blant neu ŵyrion,
dyscant yn gyntaf lywodraethu yn ddiwiol eu tŷ eu
hun, a thalu'r pwyth i'w rhieni, canys hynny sydd
dda a chymmeradwy ger bron Duw.
5 Eithr yr hon sydd wir weddw, ac unic, sydd yn
gobeithio yn Nuw, ac yn parhau mewn ymbil, â
gweddion nôs a dydd.
v Luc 16 19 6 v Ond y ddrythill, er ei bod yn fyw fu farw.
Dat 3, 2 Mat 8 22 7 Gorchymmyn y pethau hyn, fel y byddant ddiar-
gyoedd.
w 2Cor 12 14 8 w Ac o bydd neb nid ymgeledd yr eiddo, ac yn
Tit 1, 16 enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth
yw nag un di-ffydd.
x Rhuf 16 1, 2 9 x Na ddewiser gwraig weddw tann drugain-mlwydd
oed, yr hon fu wraig un gŵr:
y Act 9 39 10 y Ac yn dda ei gair am weithredoedd da, os
magodd hi ei phlant, os bu letteugar, o golchodd hi
draed y sainct, o chynorthwyodd hi y rhai cystuddiol,
o dilynodd hi bob gorchwyl da.
11 Eithr gwrthod y gweddwon ieuaingc: canys pan
ddechreuant ymdrythyllu yn erbyn Crist, priodi a
fynnant:
z Dat 2, 4 2Cor 8, 5 12 z Yn cael colledigaeth am iddynt dorri y ffydd
gyntaf.
13 Ac felly hefyd y dyscant rodio'r tai oddi amgylch
yn segur, ac nid yn segur yn unic: eithr hefyd ac yn
ofer-ieithus, ac yn rhodrescar, yn adrodd pethau
anweddaidd.
a 1 Cor 10 32 14 a Myfi a fynnwn am hynny i'r rhai ieuaingc briodi,
Dan 6, 5 6 planta, gwarchod y ty, ac na roddant ddim achos i'r
gwrthwyneb-ŵr i ogannu.
15 Canys rhai eusus a ymchwelasant ar ol Satan.
16 O bydd gŵr ffyddlon, ne wraig ffyddlon, a gwra-
gedd gweddwon ganddynt cynghorthwyant hwy, ac
na ormeser ar yr eglwys, fel y byddo digonedd i'r
rhai sy wir weddwon.
b 1 Pedr 5, 3 17 b Yr henuriaid y rhai sy yn llywodraethu yn dda,
ydynt yn haeddu parch dau-ddyblyg, yn enwedig y
rhai sy yn poeni yn y gair, ac mewn athrawiaeth.
c Deut 25, 4 18 c Canys y mae yr 'scrythur yn dywedyd, Na chae
1 Thes 2 10 safn yr ŷch yr hwn sydd yn dyrnu yr ŷd: hefyd y
mae'r gweithiwr yn heuddu ei gyflog.
d Deut 19 15 19 d Na dderbyn 'achwyn yn erbyn henuriad, oddi-
Mat 18, 15 eithr tann ddau neu dri o dystion.
e Mat 15 17 20 e Y rhai a bechant, cerydda hwy yn gyhoedddus,
Gal 2, 14 fel y gallo 'r lleill ofni.
21 Gorchymyn yr ydwyf ger bron Duw a'r Arglwydd
Iesu Grist, a'r etholedig angelion, gadw o honot y
pethau hyn yn ddi-duedd, na gwneuthur dim o gyd-
partiaeth.
22 Na ddot dy ddwylo yn ebrwydd ar neb, ac na
fydd gyfrannog o bechodau rhai eraill: cadw dy hun
yn bur.
f 1 Cor 9 27 23 f Nac ŷf ddwfr yn hwy, eithr arfer ychydig win,
er mwyn dy gylla a'ch fynych wendid.
24 g Pechodau rhyw rai ydynt amlwg o'r blaen yn g Act 1 18
rhag ymddwyn i'r farn: a'r eiddo eraill yn dyfod ar
yr ol.
25 h Ac felly hefyd, gweithredoedd da ydynt amlwg h 2Tim 1
o'r blaen, a'r rhai fyddant amgenach ni's gellir eu 17 Act 1, 23
cuddio.

## PEN. VI.

*Rhan gwasanaeth-ddynion i'w meistred. 3 Yn erbyn gau athrawon. 6 Am wir dduwioldeb, a bodlondeb meddwl. 9 Yn erbyn cubydd-dod. 11 Ei gyngor ef i Timotheus.*

CYNNIFER i ac sydd wasanaeth-wyr tann yr iau, i Tit 2, 10 Neh 5, 9
barnant eu meistred yn deilwng o bob anrhydedd,
rhac cablu enw Duw a'i athrawiaeth.
2 j A'r rhai sy a meistred iddynt yn credu, na ddiys- j Eph 1, 5 Act 15,
tyrant hwynt, o herwydd eu bod yn frodyr, eithr yn 11
hytrach eu gwasanaethu am eu bod yn credu, ac yn
annwyl, ac yn gyfrannogion o'r llesâd: dysc a chyng-
hora y pethau hyn.
3 k Od yw neb yn dyscu yn amgenach, ac heb gyd- k Rhuf 15, 17
uno âg iachus eiriau ein Harglwydd Iesu Grist, ac â'r
athrawiaeth yr hon sydd ar ol duwioldeb,
4 Chwyddo y mae heb wybod dim, eithr amhwyllo
yng-hylch cwestiwnau a dadl-eiriau o'r hyn y maga
cenfigen, ymryson, cabledd, [a] drwg dyb.
5 l Ofer ddadlau dynion llygredig eu meddwl wedi l Phil 2 11
cyfrgolli y gwir, yn tybied mai elw yw duwioldeb: 2 Tim 3 5
ymochel oddi wrth y cyfryw. m Pen 4
6 m Elw mawr eusus yw duwioldeb drwy ymfodloni 8 Phil 4, 11
o ddyn â'r hyn fyddo ganddo.
7 Canys ni ddugasom ni ddim i'r byd, a diogel yw,
na allwn ddwyn dim ymmaith.
8 Am hynny o chawn ymborth a dillad ni a ymfod-
lonwn ar hynny.
9 n Canys y mae rhai a fynnant ymgyfoethogi yn n 2Tim 4
syrthio i brofedigaeth, ac i fagleu, ac i lawer o dra- 10
chwantau angall a niweidus, y rhai sy yn boddi dyn-
ion i golledigaeth, ac i ddustruw,
10 o Canys chwant arian yw gwreiddin pob drwg. o o Tit 1,
ba rai tra fu rhai yn awyddus, hwy a gyfeiliornnasant 11
o'r ffydd, ac a'u gwanasant eu hunain â llawer o ofidiau. Mat 26 15
11 p Eithr ti gŵr Duw, gochel y pethau hyn, a dilyt p Mat. 5
gyfiawnder, duwioldeb, ffydd, cariad, ammynedd, ac 13 1 Pedr 5
addfwyndra. 3
12 Ymdrecha orchestol ymdrechiad y ffydd: cym-
mer afael ar y bywyd tragywyddol, i'r hwn hefyd i'th
alwyd, ac y proffessaist broffes dda ger bron llawer o
dystion.
13 q Dy orchymmyn yr ydwyf ger bron Duw yr hwn q Act 7 25
sydd yn bywhau pob peth, a cher bron Iesu Grist, yr Ioan 17 37
hwn tann Pontius Pilatus a dystiodd broffes dda. r Pen 6
14 r Cadw o honot y gorchymmyn yn ddifrycheulyd, 22
[ac] yn ddifai hyd ymddangosiad ein Harglwydd Iesu
Grist.
15 s Yr hwn yn y deledus amser a ddengys efe, yr s Luc 19 12
hwn sydd fendigedic, ac unic bennaeth, Brenin y
brenhinoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi,
16 t I'r hwn yn unic y mae anfarwoldeb, ac sydd yn t Ioan 1 5
trigo yn y goleuni, yr hwn ni ellir dyfod atto, yr hwn 1 Ioan 4
erioed ni's gwelodd un dŷn ac ni's dichon ei weled, 12
i'r hwn y byddo anrhydedd a gallu yn dragywyddol.
*Amen.*
17 u Gorchymmyn i'r rhai sy oludog yn y byd ymma, u Mat 5 45
na byddant uchel eu meddwl, ac na obeithiant mewn
golud anwadal, eithr yn y Duw byw, (yr hwn sydd yn
rhoddi i ni bôb peth yn ddigonol i'w mwynhau)

18 Ar wneuthur o honynt ddaioni, ac ymgyfoethogi
mewn gweithredoedd da, ac yn hawdd ganddynt
roddi, ac yn hawdd eu cydfod,
y Mat 6 19 19 y Yn trysoru iddynt eu hunain sail dda rhag llaw
Heb 6,10 fel y gallont afaelu yn y bywyd tragywyddol.
20 O Timotheus, cadw yr hyn a roddwyt i'w gadw
attat, gan droi oddi wrth halogedig ofer-sain a gwrth-
wynebiad yr hyn a gam elwir yn wybodaeth.
21 w Yr hon tra yw rhai yn ymhonni o honi, hwy a w Act 8 9
wyrasant oddi wrth nod y ffydd. Gras gyd â thi. 2 Tim 2 18
Amen.

*Yr* Epystol *cyntaf at Timotheus a scrifennwyd o Laodicia, yr hon yw prif ddinas Phrygia Pacatiana.*

---

# YR AIL EPYSTOL I PAUL

## AT

# TIMOTHEUS.

---

PENNOD I.

*Paul yn annog Timotheus i fod yn ddianwadal, ac yn ddioddefus wrth ei erlid, a pharhau yn yr athrawiaeth a ddyscase efe iddo, 12 dros yr hon yr ydoedd ei rwymau ef a'i gystuddion. 16 Canmoliaeth Onesiphorus.*

x Ioan 17 3 PAUL x apostol Iesu Grist, trwy ewyllys Duw, yn
Act 3, 15 ol addewyd y bywyd, yr hwn sydd yn Iesu Grist,
a 4, 12 2 At Timotheus [fy] mab annwyl, gras, trugaredd, a
thangnefedd, gan Dduw y Tad, a chan Iesu Grist ein
Harglwydd.
y Act. 23 1 3 y Y mae gennif ddiolch i Dduw yr hwn yr ydwyf
1 Tim. 1 yn ei wasanaethu o'm rhieni â chydwybod bur, megis
13 y mae gennif gof dibaid am danat ti yn fyng-weddiau
nos a dydd,
z 1 Cor. 12 21 4 z Gan ddeisyfu dy weled, [a] chan gofio dy ddagr-
Rhuf. 1 au, fel i'm llanwer o lawenydd,
11 5 Gan gymmeryd ail cof o'r ffydd heb ragrith, yr
hon sydd ynot ti, yr hon a drigodd yn gyntaf yn dy
nain Lois, ac yn dy fam Efnica, ac y mae yn ddiogel
gennif y [trig] ynot [tithe] hefyd.
a Det. 3, 2 6 a O achos pa ham, yr ydwyf yn dy goffau i ail gyn-
Mat. 13 neu dawn Duw yr hwn sydd ynot, trwy arddodiad
12 fy nwylo mau fi.
7 Canys ni roddes Duw i ni Ysbryd ofn, onid Ysbryd
nerth, a chariad, a phwyll.
b Pen. 3 8 b Am hynny na fydd arnat gywilydd o destiolaeth
12 Phil. 4, 13 yr Arglwydd, nac o honof finne ei garchar-wr ef: eithr
cyd-oddef di gystudd â'r efengyl, yn ol nerth Duw.
c Rhuf. 9 9 c Yr hwn a'n achubodd, ac a'n galwodd â galwed-
12 Rhuf. 8 igaeth sanctaidd, nid wrth ein gweithredoedd [ni,] ond
28 wrth ei arfaeth ei hun, a'i ras yr hwn a roddwyd i ni
trwy Grist Iesu cyn amseroedd tragywyddol.
d Heb. 2 10 d Eithr efe a eglurwyd yr awron trwy ymddang-
14 osiad ein Iachawdr Iesu Grist, yr hwn a ddeleodd
1 Cor. 15 angeu, ac a ddug fywyd, ac anfarwolaeth i oleuni trwy
55 yr efengyl.
11 I'r hon i'm gosodwyd i yn bregeth-wr, ac yn
Apostol, ac yn athro y cenhedloedd.
e 1 Cor. 4 12 e Am ba achos yr ydwyf yn dioddef hefyd y peth-
2 Cor. 11 au hyn, ac nid oes arnaf gywilydd: canys gwn pwy a
3, 17 gredais, ac y mae yn ddiammeu gennif ei fod efe yn abl
i gadw yr hyn a roddais atto i'w gadw, erbyn y dydd
f Heb. 6, 1 hwnnw.
Pen 3, 10 13 f Bydded gennit ffurf yr iachus ymadroddion, y
rhai a glywaist gennif fi mewn ffydd a chariad yng-
Hrist Iesu.
14 Y peth prydferth a roed i'w gadw attat, cadw
trwy'r Ysbryd Glan, yr hwn sydd yn presswylio ynom.
15 Ti a wyddost hyn, ddarfod i'r rhai oll sydd yn
Asia droi oddi wrthifi: o'r sawl y mae Phigelus, ac
Hermogenes.
16 Rhodded yr Arglwydd drugaredd i dŷ Onesiphor-
us: canys efe yn fynych am llonnodd fi, ac nid ydoedd
gywilydd gantho fyng-hadwyn i.
17 Eithr pan ydoedd yn Rhufain, efe a'm ceisiodd yn
ddiwyd iawn, ac a'm cafodd.
18 g Rhodded yr Arglwydd iddo gael trugaredd gan g Mat. 5
yr Arglwydd yn y dydd hwnnw, a pha faint o bethau 7
a wasanaethodd efe yn Ephesus, goref y gwyddost ti.

PEN. II.

*Y mae efe yn annog i fod yn ddianwadal, ac yn ddioddefgar, 11 Gan ddangos ffyddlon amcan Duw yng-hylch cadwedigaeth y rhai sy eiddo ef, 21 A nod y rhai hynny.*

TITHE gan hynny fy mab ymnertha yn y gras sydd
yng-Hrist Iesu,
2 h A'r pethau a glywaist gennif trwy lawer o dyst- h 1 Tim. 3
ion, traddoda hynny i ddynion y rhai fyddant gym- 10 Mat. 15
mwys i ddyscu eraill hefyd. 14
3 Tithe goddef gystudd, megis mil-wr da i Iesu Grist.
4 i Nid oes neb yn milwrio yr hwn a ymrwyda â i 1 Cor. 7
negeseuau y fuchedd hon, er mwyn [bod] iddo ryngu 35
bodd i'r hwn a'i dewisodd yn filwr.
5 j Ac od ymdrech neb hefyd, ni choronir ef oddi j 1 Cor. 9
eithr iddo ymdrech yn gyfreithlon. 24
6 k Rhaid yw i'r llafurwr gan lafurio yn gyntaf dder- k Sal. 126
byn y ffrwythau. Iago 5, 7
7 Ystyria yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, a'r Ar-
glwydd a roddo it ddeall ym mhob dim.
8 l Cofia [am] Iesu Grist o had Dafydd, ei gyfodi ef l Rhuf. 1
o feirw yn ol fy efengyl i. 3, 4
9 m Yn yr hon yr ydwyf yn goddef cystudd fel m Act. 24
gweithred-wr drwg hyd rwymau, eithr gair Duw ni 5
rwymir. Esa. 55, 10
10 Am hynny yr ydwyf yn goddef pob peth er mwyn
y detholedigion, fel y gallant hwythau gael yr iechyd-
wriaeth yr hon sydd yng-Hrist Iesu gyd â gogoniant
tragywyddol.
11 Gwir yw 'r gair, os meirw ydym gyd ag ef, y

byddwn hefyd fyw gyd ag ef.
12 Os dioddefwn, ni a gyd deyrnaswn, os gwadwn
[ef,] yntef hefyd a'n gwada ninnau.
nRhuf. 3 13 [n] Os nyni ni chredwn [er hynny] efe a erys yn
3, 4 ffyddlon: ni all efe ei wadu ei hun.
14 Dwg hyn ar gof gan destiolaethu ger bron yr
Arglwydd, na byddo iddynt ymryson yng-hylch geir-
iau, yr hyn nid yw fuddiol i ddim, [onid] i ddadym-
chwelyd y gwranda-wyr.
oRhuf. 2 15 [o] Ymddyro i'th osod dy hun yn brofedig i Dduw,
29 1Cor.3, 2 yn weithiwr difefl, yn iawn barthu gair y gwirionedd.
p1Tim. 5 16 [p] Gwilia halogedic ofer-sain, canys cynnyddu a
22 wnant i fwy o annuwioldeb.
17 A'u hymadrodd hwy a ysa fel cancr: ac o'r cyf-
ryw rai y mae Hymeneus, a Philetus.
qCol.3, 1 18 [q] Y rhai hyn am y gwirionedd a wyrasant oddi
wrth y nod, gan ddywedyd ddarfod eusus y cyfoded-
igaeth, ac y maent yn dadymchwel ffydd rhai.
rMat. 24 19 [r] Eithr y mae sail Duw yn sefyll yn ddiogel, ac
24 iddo y sel hon, yr Arglwydd a wyr pwy sydd eiddo
ef, ac ymadawed ag anghyfiawnder y neb a henwo he-
nw Crist
s1Tim. 3 20 [s] Eithr mewn tŷ mawr ni bydd yn unic llestri o
15 aur, ac arian, ond hefyd o bren a phridd, a rhai i barch,
Rhuf. 9, 21 a rhai i ammarch.
t 1Cor. 4 21 [t] Os neb gan hynny a'i glanha ei hunan oddi wrth
7 Eph.2,10 y pethau hyn, efe fydd lestr i barch, wedi ei sancteidd-
io, ac yn fuddiol i'r Arglwydd, wedi ei ddarparu i bob
gweithred dda.
u1Ioan 2 22 [u] Ffo di hefyd oddi wrth chwantau ieuengtid, a
16 Rhuf. 12 dilyn gyfiawnder, ffydd, cariad, a thangneddyf gyd
18 a'r rhai sy yn galw ar yr Arglwydd o galon bur.
23 A dod ymmaith ynfyd, ac annyscedig gwestiwnau,
gan wybod mai magu ymryson y maent.
vMat. 11 24 [v] Ac ni ddyle gwas yr Arglwydd ymryson, ond
19 Eph. 2, 1 bod yn dirion wrth bawb, yn athrawus, ac yn ddiodd-
2 efgar.
25 Gan addyscu yn addfwyn y rhai gwrthwynebus,
[i edrych] a roddo Duw ryw amser iddynt hwy edifeir-
wch i gydnabod y gwirionedd,
26 A bod iddynt hwy ddyfod i'r iawn allan o fagl
diafol, y rhai a ddelid ganddo wrth ei ewyllys ef.

## PEN. III.

*Y mae yn prophwydo o'r amserau peryglus, 2 Yn amlygu'r annuwiolion tann eu lliw a'u harwydd, 12 Yn dangos cyflwr y Cristianogion, 14 A pha wedd yr ymogelir peryglon, 16 Hefyd pa fudd a ddaw oddi wrth yr scrythyrau.*

wDat. 17 GWYBYDD [w] hyn hefyd y daw amserau enbyd yn
6 y dyddiau diweddaf.
a 13, 7, 16 2 [x] Canys bydd dynion a'u serch arnynt eu hunain
x Dat. 13 3 a 17, 2 [yn] gybyddion [yn] ymffrost-wyr, [yn] feilchion, yn
gabl-wyr, yn anufyddion i'w rhieni, yn anniolchgar,
yn annuwiol.
y2Thes.3 3 [y] Yn angharedic, yn torri cyfammod, yn hortwyr,
2 yn anghymesur, yn anfwyn, heb serch ganddynt i'r
rhai da.
4 Yn frad-wyr, yn waed-wyllt, yn ymchwyddic, yn
caru melus-chwant yn fwy nag yn caru Duw.
zTit.1, 16 5 [z] A chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu
Dat. 18, 4 ei grym: a'r cyfryw gochel di.
aGen.3, 1 6 [a] Canys o'r rhai hynny y mae y sawl sydd yn ym-
lusco i deiau, ac yn dwyn yn gaeth wrageddos llwythog
o bechodau, y rhai a arweinir gan amrafael chwant-
au,
7 Yn dyscu bob amser ac heb allu un amser ddyfod
i wybodaeth y gwirionedd. b Exo. 7
8 [b] Eithr megis y gwrth-safodd Iames ac Iambres 11
Moses, felly y mae y rhai hyn yn gwrthwynebu y
gwirionedd, dynion o feddwl llygredig yn anghymer-
adwy o herwydd y ffydd.
9 Eithr ni ffynna ganddynt mwyach: canys eu hyn-
fydrwydd fydd amlwg i bawb, megis y bu i'r eiddynt
hwythau. c1Cor. 15
10 [c] Eithr ti a lwyr adwaenost fy-nysceidiaeth i, hel- 31
ynt fy-muchedd, fy arfaeth, ffydd, ammynedd, cariad,
dioddefgarwch. d 2 Cor.
11 [d] Yr erlid, a'r cystudd, y rhai a ddeathant i mi yn 11, 2 Act.13,14
Antiochia yn Iuconium, ac yn Lystri, pa erlid a ddi-
oddefais: eithr oddi wrthynt oll i'm gwaredodd yr Ar-
glwydd. e Act. 14
12 [e] Pawb hefyd a'r a ewyllysiant fyw yn dduwiol 22
yng-Hrist Iesu a erlidir.
13 Eithr y drwg ddynion a'r twyll-wyr a ffynnant
waeth-waeth, gan dwyllo, a chael eu twyllo. f Ioan 15
14 [f] Eithr aros di yn y pethau a ddyscaist, ac a ym- 7
ddyriedwyd i ti, gan wybod gan bwy y dyscaist.
15 Ac i ti er yn fachgen wybod yr scrythur lân yr
hon sydd abl i'th wneuthur yn ddoeth i iechydwr-
iaeth, trwy 'r ffydd yr hon sydd yng-Hrist Iesu. g 2Pedr. 1, 21
16 [g] Canys yr holl scrythyr [sydd] wedi ei rhoddi gan Heb. 6, 1
ysprydoliaeth Dduw, ac [sydd] fuddiol i athrawiaethu,
i argyoeddu, i gospi ac i addyscu mewn cyfiawnder,
17 Fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei ber-
ffeithio i bob gweithred dda.

## PEN. IV.

*Y mae efe yn annog Timotheus i fod yn frwd yn y gair, ac i ddioddef. 6 Y mae efe yn gwneuthur coffa am ei farwolaeth ei hun. 9 Ac yn erchi i Timotheus ddyfod atto.* h Ioan 18

AM [h] hynny yr ydwyf yn testiolaethu ger bron 36 Luc 19,12
Duw, a cher bron yr Arglwydd Iesu Ghrist, yr
hwn a farn y byw a'r meirw, yn ei ymddangosiad, ac
yn ei deyrnas: iDiar. 25
2 [i] Pregetha 'r gair: bydd daer yn amser, ac allan o 11 Neh. 8, 1
amser: argyhoedda, cerydda, annog drwy bob am-
mynedd ac athrawiaeth.
3 Canys daw 'r amser pryd na ddioddefant athraw-
iaeth iachus: eithr gan ferwino o'u clustiau wrth eu
chwantau eu hunain y pentyrant iddynt ddyscawd-
wyr. j Jer. 44, 16
4 j Hefyd oddiwrth y gwirionedd yn ddiau troant eu 2 Thes. 2
clustiau, ac at chwedlau y troant. 11 k Mat. 26
5 [k] Eithr gwilia di yn mhob dim: dioddef adfyd: 41
gwna waith Efengylwr: cyflawna dy weinidogaeth. 1 Pedr 1
6 [l] Canys bellach i'm haberthir, ac amser fy ymddat- 14
todiad sydd yn agos.
7 Myfi a ymdrechais ymdrech teg, a orphennais
fyng-yrfa, [ac] a gedwais y ffydd. m1Cor. 9
8 [m] Weithian y rhoddwyd coron cyfiawnder i'w cha- 25 Gal. 5, 5
dw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd y barnwr cyfiawn
i mi, yn y dydd hwnnw: ac nid i mi yn unic, onid
i'r holl rai a garant ei ymddangosiad ef.
9 Ymddyro i ddyfod attaf yn ebrwydd.
10 Canys Demas a'm gadawodd, gan garu y byd pre-
sennol, ac a aeth ymmaith i Thessalonica, Crescens i
Galatia, Titus i Dalmatia.
11 Lucas yn unic sydd gyd â mi, cymmer Marc a nAct. 20
dwg gyd â thi, canys buddiol yw efe i mi i'r weinid- 4
ogaeth. 2 Cor. 11
12 [n] Tychicus hefyd a ddanfonais i Ephesus. 22

o 2Cor. 6 10 13 ° Y cochl a adewais i yn Troas gyd â Charpus,
Act. 10, pan ddelych dwg gyd â thi, a'r llyfrau yn enwedig y
34, 35 membrwn.
14 Alexander y gof-copr a wnaeth i mi lawer o ddrwg:
taled yr Arglwydd iddo yn ol ei weithredoedd.
p Mat. 10 15 ᵖ Rhac yr hwn ymgadw dithe hefyd: canys efe a
16 wrth-safodd ein pregaeth [ni] yn ddirfawr.
1 Tim. 1 20 16 ᑫ Yn fy atteb cyntaf nid oedd neb yn sefyll gyd â
q Mat. 26 mi: eithr pawb a'm gadawsant: [mi a archaf i Dduw]
56 nas cyfrifer iddynt.
17 Er hynny 'r Arglwydd a safodd gyd â mi, ac a'm
nerthodd, fel trwofi y cwbl gyflawnid y pregethiad,
ac fel y clywe yr holl genhedloedd, ac mi a waredwyd
o enau y llew.
18 ʳ A'r Arglwydd a'm gwared fi rhag pob gweithred r 2Cor. 1 10
ddrwg, ac am ceidw iw deyrnas nefol: i'r hwn y byddo 1Sam. 17
gogoniant yn oes oesoedd, Amen. 37
19 ˢ Annerch Prisca, ac Aquila, a thylwyth Onesi- s Act. 18, 2
phorius.
20 Erastus a arhosodd yn Corinth: Trophimus a ad-
ewais yn Miletum yn glaf.
21 Cais di ddyfod cyn y gaiaf, y mae Ebulus, a
Phrudens, ac Linus, a Chlaudia, a'r holl frodyr yn
dy annerch.
22 ᵗ Yr Arglwydd Iesu Grist fyddo gyd â'th yspryd: t 2Thes. 3
Gras fyddo gyd â chwi. Amen. 5
Rhuf. 8 31

*Yr ail* Epistol *a scrifennwyd o Rufain at Timotheus yr Esgob cyntaf a ddewiswyd i eglwys Ephesus, pan osodid Paul yr ail waith ger bron Cæsar Nero.*

---

# EPISTOL PAUL

## AT

# TITUS.

---

## PENNOD I.

*5 Y mae efe yn athrawy Titus o blegit llywodraeth yr eglwys. 7 Ordinhad a swydd gweinidogion eglwysig. 12 Cynneddfau y Cretiaid, ac am y rhai a henant chwedlau Iddewig, a dychymmygion dynion.*

u Eph 1, 4 PAUL ᵘ gwas Duw, ac Apostol Iesu Grist yn ol
5 ffydd etholedigion Duw, a gwybodaeth y gwir-
ionedd, yr hon sydd yn ol duwioldeb,
2 I obaith bywyd tragywyddol, yr hwn a addawodd
y digelwyddog Dduw, cyn amseroedd tragywyddol:
3 ᵛ Eithr efe a eglurhaodd ei air yn ei bryd drwy
v 1Cor. 1 21 bregethu, am yr hyn yr ymddyriedwyd i mi wrth
orchymyn Duw ein Iachawdur:
w Gal. 2, 3 4 ʷ At Titus fy anianol fab wrth y ffydd gyffredin,
2Cor. 2, 13 gras, trugaredd, a thangneddyf gan Dduw y Tad, a'r
Arglwydd Iesu Grist ein Iachawdur.
5 ˣ Er mwyn hyn i'th adewais yn Creta i wneuthur
x Act. 6, 3 6 a 14, 23 iawn drefn am yr hyn sydd yn ol, ac i osod henuriaid
ym mhob dinas megis yr ordeiniais i ti.
y 1Tim. 3 2 6 ʸ Os bydd neb diargyoedd, yn wr un wraig, ac iddo
Mal. 2, 8 blant ffyddlon, nid enllibus o lothineb, neu yn anuf-
udd.
7 Canys rhaid yw i esgob fod yn ddiargyoedd fel
gorchwiliwr Duw, nid yn gyndyn, nid yn ddigllon,
nid yn win-gar, nid yn darawudd nid yn budr-elwa,
z 1Tim. 6 11 8 ᶻ Eithr yn lletteugar, yn caru daioni, yn bwyllog,
yn gyfiawn, yn sanctaidd, yn ddianllad,
a Dat. 3, 11 9 ᵃ Yn dal yn lew y gair ffyddlon yr hwn sydd wrth
1 1Tim. 1 6 yr athrawiaeth, fel y gallo hefyd gynghori â dysceid-
iaeth iachus, ac argyoeddu y rhai a wrth-ddywedant.
b 1Tim. 1 6 10 ᵇ Canys y mae llawer o rai anufydd, a gwag-
siarad-wyr, a thwyll-wyr meddyliau, yn bennaf y rhai
sy o'r enwaediad,
c 2Tim. 3 6 11 ᶜ Y rhai y mae yn rhaid eu gostegu, y rhai sy yn
Dat. 19, 2 dymchwelyd tai cyfan, gan ddysgu i rai bethau ni
ddylid, er mwyn budr-elw.
12 Un o honynt hwy [eu hunain, sef] un o'u proph-
wydi eu hunain a ddywedodd, Y Cretiaid bob amser
ydynt gelwyddog, drwg fwyst-filod, boliau gor-ddiog.
13 ᵈ Y destiolaeth hon sydd wir, am ba achos argy- d Mat. 3 7
oedda hwy yn llym, fel y byddant iach yn y ffydd.
14 ᵉ Heb ddarbod chwedlau Iddewaidd, a gorchym- e Mat. 15 9
ynnion dynnion, yn troi oddi wrth y gwirionedd.
15 ᶠ I'r rhai pur y mae pob peth yn bur, eithr i'r rhai f 1Tim. 4 3
halogedig, ac i'r rhai anghredadwy nid oes dim yn
bur, eithr halogedig yw eu meddwl a'u cydwybod.
16 Y maent yn cyfaddef yr adwaenant Dduw, eithr
ar weithredoedd y maent yn ei wadu ef, am eu bod
yn ffiaidd, ac yn anufydd, ac i bob gweithred dda yn
anghymmeradwy.

## PEN. II.

*Y mae efe yn gorchymyn iddo y ddysceidiaeth iach, ac yn mynegi iddo, pa wedd y dysc efe i bob gradd ymddwyn, 11 Trwy ras Crist.*

EITHR adrodd di yr hyn sydd weddus i athraw-
iaeth iachus.
2 ᵍ Bod o'r henaf-gwyr yn sobr, yn honest, yn gym- g 1Ioan 3 13
hesur, yn iach yn y ffydd, yng-hariad, ac ammynedd, Diar. 16 31
3 ʰ Bod o'r henaf-gwragedd yr un modd mewn cyf-
ryw ymwreddiad ac a wedde i sancteiddrwydd, nid yn h 1Thes. 1, 7
enllibiaidd, nid wedi ymroi i win lawer, eithr yn rhoi
athrawiaeth o ddaioni,
4 ⁱ (Fel y gallant wneuthur y gwragedd ieuaingc yn i Eph. 6. 4
bwyllog i garu eu gwyr, i garu eu plant) Gen. 21, 7
5 Yn bwyllog, yn ddiwair, yn aros gartref, yn dda,
[ac] yn ddarostyngedig i'w gwyr, fel na chabler gair
Duw.
6 Cynghora wyr ieuaingc yr un modd i fod yn
bwyllog.
7 Ym mhob dim dangos dy hun yn siampl o weith-
redoedd da, [ac] yn yr athrawiaeth puredd gweddeidd-
dra, ac anllygredigaeth,

j 1 Pedr 3 16 8 j Ac ymadrodd iachus, yr hwn ni ellir ei feio, fel y
Dan.6, 4 5 cywilyddio yr hwn a safo yn erbyn, heb ganddo ddim
drwg i'w ddywedyd am danoch chwi.
k Eph. 6, 5 9 k [Cynghora] weision i fod yn ddarostyngedig i'w
meistred, ac [i'w] boddhau ym mhob dim, heb ddy-
Act.5, 19 wedyd yn eu herbyn.
10 Heb wneuthur twyll, eithr gan ddangos pob ffydd-
londeb, fel yr harddant athrawiaeth Dduw ein Iach-
l Rhuf. 10 15 awdwr ym mhob peth.
11 l Canys gras Duw yr hwn a ddwg iechid i bob
dyn a ymddangosodd.
m Mat. 9 13 12 m Ac sydd yn ein dysgu i wadu annuwioldeb a
Luc 1,74 chwantau bydol, a bod i ni fyw yn sobr, ac yn gyf-
iawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awron,
n 1 Thes 4, 16 13 n Gan edrych am y gobaith gwynfydedig, ac ym-
ddangosiad gogoniant y Duw mawr, a'n Iachawdur
Iesu Grist,
14 Yr hwn a'i rhoddes ei hun trosom, fel i'n pryne
ni yn rhydd oddi wrth bob anwiredd, ac y glanhae ni
yn bobl briod iddo ei hun, yn awyddus i weithredoedd
da.
o Luc 10 16 15 o Llefara a chynghora hyn, ac argyoedda ag holl
awdurdod: na fydded i neb dy ddirmygu.

### PEN. III.

*1 Ufydd-dod i'r rhai a fyddant mewn awdurdod, 9 rhybudd Titus i ymogelyd rhag cwestiwnau ynfydion a difydd, 12 am negesau nailltuol, 15 ac anherchion.*

COFFA iddynt fod yn ddarostyngedic i'r tywysog-
aethau, ac awdurdodau, a bod yn ufudd, ac yn
p 1 Pedr 3 9 barod i bob gweithred dda,
1 Cor. 4, 13 2 p Bod heb gablu neb, yn anymladdgar, yn llednais
q Eph. 2 3 gan ddangos pob addfwynder i bob dyn.
3 q Yr oeddem ni hefyd yn annoethion, yn anufydd
mewn amryfusedd, yn gwasanaethu chwantau, ac am-
ryw feluswedd, gan fyw mewn drygioni a chenfigen,
yn llidiog, [ac] yn casau eu gilydd.
4 Eithr wedi i ddaioni Duw ein Iachawdur a'i gar-
edigrwydd i ddyn ymddangos, r 2 Tim. 1 9
5 r Nid o weithred cyfiawnder, y rhai a wnaethom Rhuf. 3 27
ni, eithr yn ol ei drugaredd yr iachaodd efe nyni, trwy a 4, 2, 4
olchiad yr ad-enedigaeth, ac adnewyddiad yr Yspryd
Glân,
6 Yr hwn a dywalltodd efe arnom yn helaeth trwy
Iesu Grist ein Iachawdur. s Heb. 1 14
7 s Fel y byddem ni wedi ein cyfiawnhau trwy ei ras Iago 2, 5
ef, gael ein gwneuthur yn etifeddion yn ol gobaith y
bywyd tragywyddol.
8 Ffyddlon yw 'r ymadrodd hyn, ac am y pethau
hyn y mynnwn i ti fod yn daer, ac i'r sawl a gredas-
ant yn-Nuw, ofalu am ragori mewn gweithredoedd da:
dymma y pethau sydd yn dda, ac yn fuddiol i ddyn-
ion.
9 Eithr gochel gwestiwnau ffol, ac achau, a chynhen-
nau, ac ymrysonion o blegit y ddeddf, canys anfudd-
iol ydynt, ac ofer. t Act.5,17
10 t Gochel ddyn [a fyddo] heretic wedi un rhybydd, a 15, 5
neu ddau.
11 Gan wybod fethu y cyfryw, a'i fod yn pechu wedi
ei ddamnio ei hunan.
12 u Pan ddanfonwyf Artemas attat, neu Tichicus, u 2 Tim. 4 12
ymddyro i ddyfod attaf i Nicopolis: canys yno yr ar-
faethais aiafu.
13 v Danfon Zenas y cyfreithiwr, ac Apollos yn ddi- v Mat. 22 35
wyd, fel na byddo arnynt eisieu dim.
14 Dysced hefyd ein [pobl] ni ragori mewn gweith-
redoedd da, er mwyniant angenrheidiol: fel na bydd-
ant yn anffrwythlon. w Gal. 3, 6
15 w Y mae y rhai oll sy gyd â mi yn dy annerch y
rhai a'n carant yn y ffydd. Gras [Duw fyddo] gyd â
chwi oll. Amen.

*At Titus a ddewiswyd yn Escob cyntaf i eglwys y Cretiaid, yr scifennwyd hwn o Nicopolis ym Macedonia.*

---

# EPISTOL SANCT PAUL

## AT

# PHILEMON.

### PENNOD I.

*Y mae efe yn llawenychu glywed ffydd a chariad Philemon, 9 Yr hwn y mae efe yn deisyfu arno fadden iw was Onesimus, a'i dderbyn yn garedigol trachefn.*

PAUL carcharor Iesu Grist a'r brawd Timotheus,
at Philemon ein annwylyd a'n cydweith-wr.
x Gen.3.18 Mat.1 8, 20 2 x Ac at ein hannwyl [chwaer] Apphia, ac at Arch-
ippus ein cyd-filwyr, ac at yr eglwys yr hon sydd yn
dy dŷ di:
3 Gras gyd â chwi a thangneddyf gan Dduw Tad,
a'r Arglwydd Iesu Grist.
y 1 Sam. 12. 23 4 y Yr wyf yn diolch i'm Duw gan dy gofio yn oes-
Iago 5,16 tadol yn fyng-weddiau.
5 (Wrth glywed dy gariad a'th ffydd yr hon sydd
gennit yn yr Arglwydd Iesu, a thu ag at yr holl
seinctiau)
6 z Fel y gwneler cyfranniad dy ffydd yn ffrwythlon, z Heb. 13 16
trwy adnabod y daioni yr hwn sydd ynoch trwy Grist Mat. 25
Iesu.
7 a Canys y mae gennym lawenydd mawr a diddan- a 1 Ioan 3 17
wch yn dy gariad di, canys trwot ti frawd, y llonnwyd
calonnau y seinctiau.
8 O herwydd pa ham er bod gennif fawr hyder yng-
Hrist i orchymyn i ti y peth sydd weddus,
9 Er hynny o rann cariad, gwell gennif attolwg i ti,
cyd bwyf fel yr ydwyf, sef Paul yr hen-wr, ac yr awr-
hon hefyd yn garcharor [er mwyn] Iesu Grist.
10 b Yr ydwyf yn attolwg i ti dros fy mab Onesimus b 2 Tim. 1
yr hwn a genhedlais yn fy rhwymau, 13
11 Yr hwn ryw amser a fu i ti yn anfuddiol, eithr yr Phil.1,13

awr hon yn fuddiol i ti, ac i minne.
c Luc 15 12 [c] Yr hwn a ddanfonais trachefn, a chymer dithe
20 ef, sef fy ymyscaroedd mau fi.
d 2 Cor. 12 13 [d] Yr hwn a ewyllysiwn ei attal gyd â mi, fel trosot
20, 26 ti y gwasanaethe fi yn rhwymau yr Efengyl.
e 2 Cor. 9 14 [e] Eithr heb dy feddwl di ni wnawn ni ddim fel
7, 8 na bydde dy ddaioni di megis o angen, onid o fodd.
1 Cron. 29 15 Ond odid er mwyn hyn yr ymadawodd tros am-
8 ser, fel y derbynit ef yn dragywydd.
16 Bellach nid fel gwas, eithr uwch-law gwas [sef
fel] brawd annwyl yn henwedig i mi: pa faint mwy i
ti yn y cnawd, ac yn yr Arglwydd hefyd?
17 [f] Os wyt gan hynny yn fyng-hymmeryd i yn gyd-
f Iago 2 5 ymmaith, derbyn ef fel fy hun.
g Gen. 43 9, 10 18 [g] Os gwnaeth efe niwed i ti, neu fod yn dy ddyled,
cyfrif hynny arnaf fi.

19 Myfi Paul a scrifennais [hyn] â'm llaw fy hun,
myfi a dalaf, megis ni ddywedaf wrthit, dy fod yn fy-
nyled i am danat ty hun.
20 [h] Ie frawd, myfi a'th fwynhaf di yn yr Arglwydd: h Phil. 4 18
llonna fy ymyscaroedd yn yr Arglwydd.
21 Gan ymddyried yn dy ufydd-dod yr scrifennais
attat, gan wybod y gwnei fwy nag a ddywedaf fi.
22 Heb law hyn hefyd paratoa i mi lety: canys yr
ydwyf yn gobeithio trwy eich gweddiau chwi i'm
rhoddir i chwi.
23 [i] Y mae yn dy annerch Epaphras fyng-hyd garch- i Mat. 10 34, 35
aror yng-Hrist Iesu,
24 [j] Marcus, Aristarchus, Demas, [a] Lucas fyng-hyd j 2 Tim. 4 10
weith-wyr.
25 Gras ein Harglwydd Iesu Grist [fyddo] gyd â'ch
yspryd chwi. *Amen.*

*O Rufain yr Scrifennwyd* hwn *at Philemon gyd â'r gwâs Onesimus.*

# EPISTOL SANCT PAUL

## AT YR

# HEBRÆAID.

### PENNOD I.

*Dangos y mae efe rhagor-fraint Crist goruwch yr angelion, 7 Ac am eu swydd hwythau.*

k Num. 12, 6 DUW [k] lawer gwaith a llawer modd gynt a ymddidd-
1 Pedr 1 11 anodd â'r tadau trwy'r prophwydi:
2 Y dyddiau diweddaf hyn efe a ymddiddanodd â
nyni trwy ei Fab, yr hwn a wnaeth efe yn etifedd pob
peth, trwy 'r hwn hefyd y gwnaeth efe y bydoedd,
l Ioan 1 14 3 [l] Yr hwn (am ei fod yn llewyrch y gogoniant, a
Col. 1, 15 gwir lun ei berson ef, ac yn cynnal pob peth trwy air
ei nerth, wedi golchi ein pechodau ni trwyddo ef ei
hun) a eisteddodd ar ddeheu-law y mawredd yn y
goruchelder,
4 Yr hwn a wnaethbwyd yn well na'r angelion, o
gymmaint ac yr etifeddodd efe enw rhagorach nag
m Sal. 2. 7 hwynt hwy.
2 Sam. 7 14 5 [m] Canys wrth bwy o'r angelion er ioed y dywed-
odd efe, Fy Mab ydwyt ti, myfi heddyw a'th genhedl-
ais di: ac eil-waith, Myfi a fyddaf yn Dad iddo ef, ac
yntef fydd yn Fab i minne.
n Rhuf. 8 29 6 [n] A thrachefn pan ydyw yn dwyn ei Fab cyntaf-
Dat 1. 5 anedic i'r byd, y mae yn dywedyd, Addoled hefyd
o Sal. 104, 4 holl angelion Duw ef:
7 [o] Ac am yr angelion hefyd y mae yn dywedyd, Yr
hwn sydd yn gwneuthur ysprydion yn genhadon iddo:
a'i weinidogion yn fflam dân.
p Sal. 45. 6 8 [p] Ac wrth y Mab, Dy orseddfaingc o Dduw [sydd]
Esa. 9, 7 yn oes oesoedd: teyrn-wialen iniondeb yw teyrn-wial-
en dy deyrnas di.
q Ioan 3 34 9 [q] Ti a geraist gyfiawnder, ac a gaseaist anwiredd:
Act. 10, 38 am hynny Duw, sef dy Dduw di a'th eneiniodd âg
olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillion.
10 Ac tydi yn y dechreuad O Arglwydd a seiliaist y
ddaiar, a gwaith dy ddwylaw di yw y nefoedd.

11 Hwynt hwy a ddarfyddant tithe a barheui: ie
hwynt hwy oll a heneiddiant fel dilledyn,
12 [r] Megis gwisg hefyd y plygi di hwynt, ac hwy a r 2 Pedr, 3 10
newidiant: eithr yr un ydwyt ti, a'th flynyddoedd ni
phallant.
13 [s] Wrth bwy o'r angelion er ioed y dywedodd s Sal. 110, 1
efe: Eistedd ar fy llaw ddehau hyd oni ddodwyf dy 1 Cor. 15 25
elynion yn droed-faingc i'th draed?
14 [t] Onid ysprydion gwasanaethgar ydynt hwy oll, t Sal 34, 7
y rhai a ddanfonir i wasanaethu, er mwyn y rhai a
gânt etifeddu iechydwriaeth?

### PEN. II.

*Erioi arnom y mae efe fod yn ufydd i'r ddeddf newydd, yr hon a roes Crist i ni, 9 ac na rwystrer ni o herwydd gwendid, Ac isel-radd Crist, 10 Canfod yn angenrheidiol iddo er ein mwyn ni gymmeryd y cyfryw ddistadl gyflwr arno, fel y bydde debyg i'w frodyr.*

AM hynny rhaid i ni ystyried yn well y pethau a
glywsom, fel na ollyngom ni hwynt un amser i
golli.
2 [u] Canys os cadarn oedd y gair a ddodwyd trwy ang- u Gal. 3, 19
elion, ac os derbyniodd pob camwedd, ac anufydd- 1 Cor. 10, 5, 8, 9, 10
dod gyflawn daledigaeth,
3 [v] Pa fodd y dianc wn ni, os esgeuluswn iechydwr- v Act. 13 26
iaeth gymmaint, yr hon wedi dechreu ei thraethu Rhuf. 1 16
trwy'r Arglwydd ei hun, a siccrhawyd i ni gan y rhai
a fuasent yn gwrando:
4 [w] Trwy fod Duw yn testiolaethu gyd â hwynt w Marc 16, 20
drwy arwyddion, a rhyfeddodau, ac amrafael rin- 1 Cor. 12 4
weddau, a chyfranniad yr Yspryd Glan, yn ol ei
ewyllys ei hun.
5 Canys nid i'r angelion y darostyngodd efe y byd a
ddaw, yr hwn yr ydym yn llefaru am dano.
6 Eithr bu mewn rhyw fan a ddwg destiolaeth gan

ddywedyd, Beth yw dyn, i ti i'w goffau? neu fab dyn
i ti i ymweled ag ef?
7 Ti a'i gwnaethost ef ychydig yn is na'r angylion:
â gogoniant ac anrhydedd y coronaist ef, ac a'i gos-
odaist ef yn llywydd ar weithredoedd dy ddwylo.
x1Cor. 15 27 8 x Pob peth a ddarostyngaist tann ei draed ef, am
Mat. 28 18 hyn, gan ddarostwng o honaw bob peth iddo, ni ad-
awodd efe ddim heb ei ddarostwng iddo, eithr eto nid
ydym yn gweled pob peth yn ostyngedic iddo.
yMarc16 19 9 y Eithr yr ydym ni yn gweled yr Iesu wedi ei gor-
Rhuf. 5 18 oni a gogoniant ac anrhydedd, yr hwn a wnaed ych-
ydig is na'r angelion, o herwydd dioddefaint marwol-
aeth fel y bydde iddo ef trwy ras Duw, brofi mawol-
aeth tros bawb.
z2Cor. 4 7 10 z Canys gweddus oedd iddo ef, o herwydd pwy
y mae pob peth, a thrwy'r hwn y mae pob peth, wedi
iddo ddwyn llawer o feibion i ogoniant, berffeithio
pennadur eu hiechydwriaeth hwynt trwy ddioddefaint.
11 Canys y sancteiddudd a'r rhai sancteiddiedic o'r
un y maent oll, am ba achos nid yw gywilyddus gan-
ddo eu galw hwynt yn frodyr,
a Sal. 22 22 12 a Gan ddywedyd, Mysi a ddangosaf dy enw di i'm
brodyr, yng-hanol yr eglwys i'th folaf di.
b Sal. 18 2 13 b A thrachefn, Mi a ddodaf fy ymddyried ynddo,
Esa.8, 17 a thrachefn Wele fi, a'r plant a roddes Duw i mi.
14 Am hynny gan fod y plant yn gyfrannogion o
gig a gwaed, yntef hefyd yr un modd a wnaethpwyd
yn gyfrannog o'r un rhyw, fel y galle efe trwy farw-
olaeth ddinistrio y neb yr ydoedd iddo lywodraeth ar
farwolaeth sef diafol.
c Luc 1 74 15 c Ac fel y galle efe eu gwared hwynt oll, y rhai
Ioan 8, 34 gan ofn marwolaeth tros eu holl fywyd ydynt tann
gaethiwed.
dRhuf. 9 5 16 d Nid yr angelion eusus a gymmerodd efe ddim:
eithr had Abraham a gymmerodd efe.
17 Am ba achos y dyle efe yn mhob peth fod yn
gyffelyb i'w frodyr, fel y galle fod yn arch-offeiriad
trugarog a ffyddlon am y pethau a berthynent i Dduw,
i ryglyddu badd am bechodau y bobl.
18 O blegit yn gymmaint a dioddef o honaw ef, pan
ei temptiwyd, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a
demptir.

## PEN. III.

*Y mae efe yn eu cynghori i fod yn ufydd i air Crist, 3. Yr hwn sydd ragorach na Moses. 12 Pennedigaeth y cyfryw ag a galedant eu calonnau ac ni chredant, fel y caffent orphwysfa dragywyddol.*

e2Tim. 1 9 AM hyn fy mrodyr sanctaidd, cyfrannogion o'r
Phil3, 14 galwedigaeth nefol, ystyriwch Iesu Grist, Apos-
tol ac Arch-offeiriad ein cyffes ni yng-Hrist Iesu,
f 1Tim 3 15 2 f Yr hwn sydd ffyddlon i'r hwn a'i hordeiniodd,
megis Moses yn ei holl dŷ.
g 1Tim 2 5 3 g Oblegit hwn a gyfrifwyd ei fod yn haeddu mwy
1 Cor 15 21 o ogoniant na Moses, o gymmaint, ac y mae yr hwn
sydd yn gwneuthur tŷ yn cael mwy o barch na'r tŷ.
4 Canys pob tŷ a adeilir gan ryw un, a'r neb a wnaeth
bob peth ydyw Duw.
5 A Moses yn wir a fu ffyddlon yn ei holl dŷ ef
megis gwasanaethwr, er tystiolaeth i'r pethau a draeth-
id.
h Eph 3 17 6 h Eithr Crist megis Mab ar ei dŷ ei hun, tŷ yr
2Cor 3, 6 hwn ydym ni, os nyni a geidw ein hyfder a gorfoledd
ein gobaith yn siccr hyd y diwedd.
iSal 95, 7 7 i Am hynny megis y dywed yr Yspryd Glân,
2Cor 6, 2 Heddyw o gwrandewch ei leferydd ef,

8 Na chaledwch eich calonnau, megis yn yr ymrys-
onfa, yn nydd y profedigaeth yn y diffaethwch,
9 j Lle y temptiodd eich tadau chwi fi, y profasant fi, j 1Cor 10 9
ac a welsant fyng-weithredoedd ddeugain mlynedd, Sal 78, 40
10 k Am hynny y sorais wrth y genhedlaeth honno. k Act 13 18
a dywedais, Y maent hwy yn cyfeiliorni yn [eu] calon-
nau, ac nid adnabuant fy ffyrdd mau fi.
11 l Hyd oni thyngais yn fy nigllonedd, na chaent l Num 14 23
hwy ddyfod i mewn i'm gorphwysfa.
12 m Edrychwch frodyr, rhag bod un amser yn neb m 1Tim 4, 1
o honoch ddrwg galon anffyddlon i beri ymadel â Mat 13, 20
Duw byw
13 Eithr cynghorwch bawb eu gilydd beunydd tra
y gelwyr hi heddyw, rhag i neb o honoch ymgaledu
trwy dwyll pechod.
14 Canys nyni a wnaed yn gyfrannogion o Grist, os
nyni a gadwn y dechreuad trwy 'r hwn ein cynhelir i
fynu yn siccr hyd y diwedd.
15 n Tra y dywedir, Heddyw os gwrandewch ei lef- nRhuf 18 4
erydd ef, na chaledwch eich calonnau, megis yn yr
ymrysonfa.
16 o Canys rhai ar ôl gwrando, [a'i] digiasant [ef,] ac o Deut 1 36
etto, nid pawb a'r a ddaethant o'r Aipht trwy Moses.
17 Ac wrth bwy y bu efe sorredic ddeugain mlyn-
edd? onid wrth y rhai a bechasent, y rhai y syrthiodd
eu cyrph yn y diffaethwch.
18 Ac wrth bwy tyngodd na chaent hwy fyned i
mewn i'w orphwysfa ef? onid wrth y rhai, nid ufydd-
haent?
19 Ac yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i
mewn o herwydd anghredyniaeth.

## PEN. IV.

*Bod y gair heb ffydd yn anfuddiol. 3 Sabboth neu orphwysfa y Christianogion, 6 Dialedd y rhai ni chredant, 12 Anian gair Duw.*

OFNWN p gan hynny, rhag un amser trwy wrthod p Mat 25 10
yr addewid i fyned i mewn i'w orphywysfa ef, weled Pen 12,15
neb o honoch chwi yn gyffelyb i'w siommi.
2 q Canys i ni y pregethwyd yr Efengyl fel iddynt q Ioan 8
hwythau, eithr ni thycciodd iddynt hwy y gair a 56
glywyd, am nad oedd wedi ei gyd-wascu â ffydd yn y Esa 53, 1
rhai a'i clywsant.
3 r Canys yr ydym ni y rhai a gredasom yn myned rNum 14
i mewn i'r orphwysfa, megis y dywedodd efe, Fel y 31
tyngais yn fy llid, na ddeuent hwy i mewn i'm gorph-
wysfa: cyd bai'r gwaith wedi ei berffeithio o amser
gosodiad sail y byd.
4 s Canys am y seithfed dydd mewn man y dywedodd sGen 2,2
efe fel hyn, A gorphywysawdd Duw y seithfed dydd Ioan 5,17
oddi wrth ei holl waith.
5 Ac ymma trachefn, Na ddeuent hwy i mewn i'm
gorphwysfa.
6 Gan fod hyn wedi ei adel yn ol, fod rhai yn cael
myned i mewn, a bod y rhai y pregethwyd yn gyntaf
iddynt heb fyned o herwydd anghredyniaeth:
7 Trachefn y mae efe yn pennu diwrnod gan ddy-
wedyd trwy Dafydd, Heddyw, ar ol cymaint o amser,
megis y dywedwyd, Heddyw o gwrandewch ei lefer-
ydd ef, na chaledwch eich calonau. t Deut 18
8 t Canys pe Iosua a'u dugase hwynt i orphwysfa, ni 9 Jos 21 44
sonniase efe am ddydd arall ar ol hynny. a 22, 4
9 u Ac am hynny y mae rhyw orphwysfa wedi ei a 23, 1 u Dat 21
gadael yn ol i bobl Dduw. 4
10 v Canys yr hwn a aeth i mewn i'w orphywysfa, v Rhuf 6 7
gorphwysodd hwnnw oddi wrth ei waith megis [y Dat 14,13

gorphwysodd] Duw oddiwrth yr eiddo yntef.
11 Ymroddiwn gan hynny i fyned i mewn i'r un
rhyw orphywysfa rhag syrthio o neb yn ol yr un
siampl o anufudd-dod.
w Act 9 37 12 w Canys bywiol yw gair Duw, a nerthol ei waith,
2 Cor 10 4 a llymmach nag un cleddyf daufiniog, ac yn cyrhaedd-
yd hyd wahaniad yr enaid a'r yspryd, a'r cymmalau,
a'r mêr, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon.
13 Ac nid oes un creadur anamlwg yn ei olwg ef,
eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid
ef, am yr hwn yr ydym ni yn son.
x Pen 7 26 14 x Am fod gan hynny i ni Arch-offeiriad mawr yr
a lit. 23, 24 hwn a aeth i'r nefoedd, sef Iesu Mab Duw, daliwn
[ein gafel] ar ein proffes.
15 Canys nid oes i ni Arch-offeiriad, yr hwn nis
dichon dosturio wrth ein gwendid ni, namyn a dempt-
iwyd ym mhob peth yr un modd; [eithr] heb bechod.
16 Am hynny awn yn hyderus at orsedd-faingc y
gras fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras yn
gymhorth cyf-amserol.

## PEN. V.

*Y cyffelybiaeth a'r anghyffelybiaeth sydd rhwng Crist a'r Lef-iaid 11 A chyhuddiad diweddarwch yr Iddewon.*

y Pen 8 11 CANYS y pob arch-offeiriad yr hwn a gymmerer o
a 8, 3, 4 blith dynion a osodir tros ddynion yn y pethau sy
tu ag at Dduw, i offrymmu rhoddion, ac aberthau tros
bechodau,
2 Yr hwn a ddichon yn gymmedrol dosturio tros y
rhai sy mewn anwybodaeth neu amryfusedd, am ei fod
yntef hefyd wedi ei amgylchu â gwendid,
z Lef 4 3 Pen 7, 27 3 z Ac er mwyn hynny y dyle megis tros y bobl felly
trosto ei hun offrymmu tros bechodau.
4 Ac nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd iddo ei
hun, ond a alwer gan Dduw, megis Aaron.
a Ioan 8 54 5 a Felly Crist hefyd ni chymmerodd iddo ei hun yr
anrhydedd i fod yn arch-offeiriad, namyn yr hwn
a ddywedodd wrtho ef, Ty di yw fy Mab i, myfi hedd-
yw a'th genhedlais di [ai rhoes iddo.]
b Sal. 110 4 6 b Megis y mae efe hefyd mewn rhan arall yn dyw-
edyd, Offeiriad wyt ti yn dragywydd ar ol urdd Mel-
chi-sedec.
7 Yr hwn yn nyddiau ei gnawd a offrymmodd trwy
lefain cryf a dagrau, weddiau ac ymbil at yr hwn yd-
oedd abl i'w achub ef oddiwrth farwolaeth: ac efe a
wrandawodd am y peth yr oedd yn ei ofni.
8 Ac er ei fod yn fab efe a ddyscodd ufudd-dod trwy
yr hyn a ddioddefodd,
c Ioan 10 38 9 c Ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethbwyd yn
Ioan 8, 36 awdur iechyd tragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant:
10 Wedi ei gyfenwi gan Dduw yn Arch-offeiriad ar
ol urdd Melchi-sedec.
11 Am yr hwn y mae i ni lawer i'w ddywedyd, yr
hyn sydd anhawdd ei fynegi, o achos eich bod chwi
yn fusgrell eich clustiau.
d 1Cor 3 1, 2 12 d Canys lle y dylech chwi o herwydd amser fod
1Cor 2, 7 yn athrawon, rhaid yw trachefn ddyscu i chwi beth
ydyw gwyddorion dechreuad ymadroddion Duw, ac
chwi a aethoch yn rhaid i chwi wrth laeth, ac nid
bwyd cryf.
e 1Cor 14 20 13 e O blegit pawb a ymarfero â llaeth, anghynefin
yw â gair cyfiawnder: canys maban yw.
14 Eithr y bwyd cryf a berthyn i'r rhai perffaith y
rhai o herwydd cynnefindra y mae ganddynt synnwyr
wedi ymarfer i ddospartha rhwng da a drwg.

## PEN. VI.

*Cyngor i gynnyddu yn ddianwadal, 18 Am fod Duw yn sicer yn ei addewid.*

AM f hynny gan roddi heibio yr ymadrodd sydd yn f Mat 13 22 Col 3, 16
dechreu rhai yng-Hrist, awn rhagom at berffeith-
rwydd, ac na osodom eil-waith sail edifeirwch oddi
wrth weithredoedd meirwon, a ffydd tu ag at Ddu w. g Act 2 38
2 [Ac] am athrawiaeth bedyddiadau, a gosodiad
dwylo, ac adgyfodiad y meirw, a'r farn dragywyddol.
3 A hynny a wnawn ni, os canniadha Duw. h Mat. 12 39
4 h Canys amhosibl yw i'r rhai a oleuwyd un waith,
ac a brofasant y rhodd nefol, ac a wnaethbwyd yn
gyfrannogion o'r Yspryd Glan, i Mat 7, 22
5 i Ac a brofasant o ddaioni air Duw, a rhinwedd-
au y byd a ddaw: j Marc 3 29
6 j Os llwyr-syrthiant, adnewyddu trwy edifeirwch, Rhuf 6, 9
gan eu bod hwynt drachefn yn croeshoelio iddynt eu
hunain Fab Duw, ac yn ei osod ar watwar.
7 Canys y ddaiar yr hon a yfo y glaw a fyddo yn
mynych ddyfod arni, ac a ddygo lyssiau addas i'r
neb drwy y rhai yr ydys yn ei llafurio hi, sydd yn der-
byn bendith gan Dduw. k Sal 37 22
8 k Eithr yr hon a ddygo ddrain ac ysgall, ambaich-
us fydd, a chyfagos i felldith, a'i diwedd fydd ei llosci. Gen 3, 17 Pen 10, 27
9 Eithr O (rai annwyl) yr ydym yn coelio am danoch
chwi, bethau sy well na hyn, ac [sydd] yng-lŷn ag
iechydwriaeth er ein bod ni yn dywedyd fel hyn. l 1Thes 1 3.
10 l Canys nid anghyfiawn yw Duw, fel y gollyngo Mat 10,
tros gof eich gwaith a'r llafurus gariad a ddangosasoch 41
tu ag at ei enw ef, y rhai a wasanaethasoch, ac ydych
yn gwasanaethu y Saint. m 2 Pedr 1, 10
11 m Ac yr ydym yn chwennych dangos o bob un o
honoch yr un fath ddiwydrwydd er mwyn siccrhau
gobaith hyd y diwedd. n Rhuf 12 11
12 n Fel na byddoch fuscrell, eithr yn ddilynwŷr y
rhai trwy ffydd, ac ammynedd sy yn meddiannu yr
addewidion.
13 Canys Duw wrth wneuthur yr addewid i Abra-
ham, lle ni alle efe dyngu i neb a fai fwy, a dyngodd
iddo ei hun, o Gen. 22 17
14 o Gan ddywedyd, yn wir gan fendithio mi a'th
fendithiaf, a chan amlhau mi a'th amlhaf. p Pen 11 29
15 p Ac felly wedi iddo hir ymaros, efe a gafodd yr
addewid.
16 Canys dynion yn ddiau ydynt yn tyngu i un mwy
[na hwynt eu hun] a diwedd pob ymryson ydyw llw
iddynt er siccrwydd.
17 Yn yr hwn beth Duw yn chwenychu yn helaeth-
ach ddangos i etifeddion yr addewid, ddianwadalwch
ei gyngor ef, a ymrwymodd trwy lw.
18 Megis trwy ddau beth disigl yn y rhai y mae yn
amhossibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem gael
cyssur cryf, y rhai a ffoasom i gael gafael yn y gobaith
rhag-osodedic. q Rhuf 5 5
19 q Yr hwn sydd genym ni megis angor yr enaid yn
ddiogel, ac yn siccr, ac yn myned hyd at yr hyn sydd
o'r tu fewn i'r llen. r Ioan 14 2
20 r I'r man yr aeth y rhagflaenor trosom ni [sef]
Iesu yr hwn a wnaethbwyd yn Arch-offeiriad yn
dragywyddol ar ol urdd Melchi-sedec.

## PEN. VII.

*Cyffelybiaeth rhwng offeiriadaeth Crist a Melchisedec.*

CANYS s y Melchi-sedec hwn brenin Salem [yd- s Gen. 14 18, 19
oedd] offeiriad Duw goruchaf, yr hwn a ddaeth i
gyfarfod ag Abraham wrth ddychwelyd o ladd y

t Esa 9, 6 Eph 2, 14 brenhinoedd, ac a'i bendigodd ef:
2 t I ba un y cyfrannodd Abraham ddegwm o bob
peth: yr hwn yn gyntaf yn wir wrth gyfieithiad [yw]
brenin cyfiawnder: wedi hynny hefyd brenin Salem,
yr hyn yw brenin heddwch,
3 Heb dâd, heb fam, heb genedl heb fod iddo na
dechreu dyddiau na diwedd einioes: eithr yn gyffelyb
u Num 18. 19 i Fab Duw, y mae yn aros yn offeiriad yn dragywydd.
Rhuf 4, 11 4 u Edrychwch chwithau faint oedd hwn i'r hwn y
rhoddodd Abraham y patriarch ddegwm o'r anrhaith.
5 A'r rhai yn wir sy o feibion Lefi yn derbyn swydd
yr offeiriadaeth, y mae ganddynt orchymyn i gymmeryd
degwm gan y bobl, ar ol y gyfraith (sef gan
eu brodyr) er eu bod wedi dyfod o lwynau Abraham.
v Esa 53 8 6 v Eithr yr hwn ni hannoedd ei genhedloedd o honynt
Act 8, 33 hwy, a gymmerodd ddegwm gan Abraham,) ac a
fendigodd yr hwn yr oedd yr addewid iddo.
7 Ac yn ddiddadl y lleiaf a fendithir gan [ei] well.
8 Ac ymma dynion y rhai sy yn meirw, sy yn cymmeryd
degwm: eithr yno yr hwn y testiolaethwyd am
dano ei fod efe yn fyw.
9 Ac (o ddywedyd felly) yn Abraham y talodd Lefi
yntef hefyd ddegwm, yr hwn [oedd] dderbyn-wr
w Pen 10 14 degwm,
Luc 1, 45 10 w O blegit yr ydoedd efe etto yn llwynau ei dad,
x Pen 10 14 pan gyfarfu Melchi-sedec ag ef.
Luc 1 45 12 x Os ydoedd gan hynny berffeithrwydd trwy offeiriadaeth
Lefi (o blegit tann honno y rhoddwyd y
gyfraith i'r bobl) pa ham [yr oedd] yn rhaid mwyach
godi offeiriad arall, ar ol urdd Melchi-sedec, ac nas
y 1Cor 9 13 gelwid ef ar ol urdd Aaron?
12 y O blegit yn wir wedi newidio yr offeiriadaeth,
z Gen 49 10 rhaid oedd fod newidiad ar y gyfraith hefyd.
13 z O blegit am yr hwn y dywedir hyn, Efe a berthyn
i lwyth arall, o'r hwn nid oes neb yn gwasanaethu
a Dat 5,5 yr allor.
14 a Canys hyspus yw mai o Iuda y mae ein Harglwydd
ni yn dyfod, am yr hwn lwyth ni ddywedodd
Moses ddim tu ag at offeiriadaeth,
15 Ac etto y mae hyn yn eglurach o lawer, os ydyw
offeiriad arall yn codi ar ol cyffelybrwydd Melchi-
b Pen 9 13 sedec,
Dat 1, 18 16 b Yr hwn nid wrth gyfraith y gorchymyn cnawdol
ei gwnaethbwyd [yn offeiriad,] eithr wrth rym y bywyd
didrangcedic.
17 O blegit y mae efe yn testiolaethu fel hyn, Canys
c Pen 10 1 a 8, 9, 10 offeiriad wyt ti yn dragywydd ar ol urdd Melchi-
sedec.
18 c Canys yn ddiau fe wnaed diddymmiad ar y gorchymyn,
yr hwn oedd o'r blaen o herwydd ei lescedd
a'i afles.
19 O blegid ni pherffeithiodd y gyfraith ddim namyn
dyfodiad gwell, trwy yr hwn yr ydym ni yn nesau at
Dduw.
20 Ac yn gymmaint nad heb lw:
21 (O blegit hwynt hwy a wnaethbwyd yn offeiriad
heb lw, a hwn, a wnaethbwyd â llw gan yr hwn a
ddywedodd wrtho, yr Arglwydd a dyngodd, ac ni
bydd edifar ganddo, ti wyt offeiriad yn dragywydd,
d Pen 8 6, a 9, 15 yn ôl urdd Melchi-sedec.)
a 12, 24 22 Ar destament gwell o hynny y gwnaethbwyd Iesu
yn fachnïudd.
23 A mwy o honynt hwy a wneid yn offeiriadau am
i farwolaeth luddio iddynt barhau.
24 Eithr hwn am ei fod yn parhau yn dragywydd y
mae iddo ef offeiriadaeth dragywyddol.
25 e Am hynny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachau e Ioan 14 6
y rhai trwyddo ef sy yn dyfod at Dduw am ei fod efe Pen. 10, 19
yn byw bob amser i eiriol trostynt hwy. 1 Ioan 2 1
26 f O blegit y cyfryw Archoffeiriad sanctaidd, di- f Eph. 4 10
ddrwg, dihalog, didoledig oddi wrth bechaduriaid, ac
wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd oedd weddus
i ni:
27 Yr hwn nid oedd raid iddo beunydd, megis i'r
offeiriaid [hynny] yn gyntaf tros ei bechodau ei hun,
offrymmu aberthau, wedi hynny tros [bechodau] y
bobl: canys hynny a wnaeth efe un-waith gan ei offrymmu
ei hun.
28 Canys y gyfraith sydd yn gosod dynion yn archoffeiriaid
a gwendid ynddynt: eithr gair y llw yr hwn
fu wedi y gyfraith, sy'n gwneuthur y Mab yr hwn a
berffeithiwyd yn dragywydd.

## PEN. VIII.

*Bod offeiriadaeth Crist a'r cyfammod newydd yn dangos diddymmu yr offeiriadaeth Lefiaidd, a'r hen gyfammod.*

EITHR g swm yr hyn a ddywedwyd yw hyn, fod g Act 3 21
i ni gyfryw Arch-offeiriad, yr hwn a eisteddodd Pen 7, 26
ar ddehau law gorsedd-faingc y mawredd yn y nefoedd,
h Ioan 1 19
2 h Yn weinidog y gyssegrfa, a'r gwir dabernacl yr Col 2, 9
hwn a osodes yr Arglwydd, ac nid dyn.
3 Canys pob arch-offeiriad a osodir i offrymmu
rhoddion ac aberthau: ac am hynny yr ydoedd yn
rhaid bod gan hwn hefyd beth i'w offrymmu.
4 O blegit pe bydde efe ar y ddaiar, ni bydde yn
offeiriad y chwaith, tra fydde offeiriaid yn offrymmu
rhoddion yn ol y ddeddyf. i Col. 2, 17
5 i Y rhai sy yn gwasanaethu portreiad, a chyscod Pen. 10, 1
pethau nefol, megis o'r nefoedd yr attebwyd Moses
pan oedd ar orphen y tabernacl: Edrych eb efe, ar
wneuthur o honot bob peth ar ol y portreiad a ddangoswyd
i ti yn y mynydd.
j 1 Tim. 2 5
6 j Eithr yn awr y cafodd efe swydd mwy rhagorol,
o gymmaint ac y mae yn gyfryngwr cyfammod gwell,
yr hwn sydd wedi ei osod ar addewidion gwell.
k Pen. 7 11
7 k O blegit yn wir pe buase y cyntaf hwnw yn ddifai,
ni cheisiasid lle i'r ail. Rhuf. 8, 3
8 l Canys yn beio arnynt hwy y dywed efe, Wele y l Rhuf. 2 29
dyddiau a ddeuant, medd yr Arglwydd, pan wnelwyf
â thŷ Israel, ac a thŷ Iuda gyfammod newydd:
9 Nid fel y cyfammod yr hwn a wneuthum au tadau
hwynt yn y dydd yr ymafelais yn eu llaw hwynt iw
dwyn o dir yr Aipht: canys ni thrigasant hwy yn fyngh-
hyfammod mau fi, a minne a'u ysceulusais hwythau, m 1 Cor. 3 9
medd yr Arglwydd,
10 m O blegit hwn yw'r cyfammod a wneuthum i â
thŷ Israel, Ar ol y dyddiau hynny medd yr Arglwydd,
myfi a ddodaf fyng-hyfreithiau yn eu meddwl, ac yn
eu calonnau yr scrifennaf [hwynt] ami a fyddaf yn
Dduw iddynt hwy, ac hwythau a fyddant bobl i
minne. n Ioan 6 45
11 n Ac ni ddysc pob un ei gymydog, a phob un ei 1 Cor. 13 12
frawd, gan ddywedyd, Adnebydd yr Arglwydd: o
blegit hwynt a'm hadwaenant i oll, o'r lleiaf o honynt
hyd y mwyaf o honynt. o Jer. 31 34
12 o Canys trugarog fyddaf am eu anghyfiawnder, ac
ni chofiaf eu pechodau nai hanwiredd hwynt mwy.
13 Wrth ddywedyd newydd, y mae efe yn barnu y
cyntaf yn henaidd, a'r hyn sydd henaidd ac oedrannus
sydd agos i ddifannu.

## PEN. IX.

*Y modd y deleuir ceremoniau, ac ebyrth y ddeddf, gan dragywyddoldeb a pherffeithrwydd aberth Crist.*

p Luc 1,6 AM p hynny yn wir yr ydoedd hefyd i'r tabernacl
Rhuf. 2 cyntaf ceremoniau crefydd a chyssegr bydol.
26 2 O blegit y tabernacl oedd wedi ei wneuthur, y
cyntaf, yn yr hwn yr oedd y canwyllbren, a'r bwrdd,
a'r bara gosod yr hwn [dabernacl] a elwid y cyssegr.
q Ecs. 26 3 q Yn ol yr ail llen yr oedd y tabernacl yr hwn a
31, 36 elwid y cyssegr sancteiddiolaf,
r Lef. 19 4 r Lle yr oedd y thusser aur, ac Arch y cyfammod
12 wedi ei goreuro o'i hamgylch, yn yr hon yr oedd y
crochan aur a'r manna ynddo, a gwialen Aaron, yr
hon a flagurase, a llechau y cyfammod.
s Ecs. 25 5 s A goruwch honno Cerubiaid y gogoniant yn
18 cyscodi y drugareddfa, am y rhai ni ellir yn awr
Rhuf. 3 dywedyd yn nailldual.
25 6 Wedi trefnu hyn felly, i'r tabernacl cyntaf yn
ddiau yr ai bob amser yr offeiriaid y rhai oeddynt yn
cyflawni y gwasanaeth.
t Ecs. 30 7 t Ac i'r ail unwaith bob blwyddyn yr ai yr arch-
10 offeiriad yn unic, nid heb waed yr hwn a offrymme
efe trosto ei hun, a thros anwybodaeth y bobl.
u 1 Ioan 3 8 u Trwy fod yr Yspryd Glân yn arddangos hyn,
8 nad oedd y ffordd i'r cyssegr yn agored etto tra fydde
y tabernacl cyntaf yn sefyll.
v Gal. 4,1 9 v Yr hwn ydoedd gyffelybiaeth tros yr amser pre-
3 sennol, yn yr hwn yr offrymmid rhoddion, ac aberthau,
Pen. 5,1 a 7,19 y rhai ni allent berffeithio yr addoludd ar ran cyd-
wybod.
w 1 Cor. 8 10 w Yn unic mewn bwydydd a diodydd, ac amryw
Act. 3,21 olchiadau, a deddfau cnawdol, y rhai a osodasid hyd
amser y diwygiad.
x Ioan 1 11 x Eithr Crist yn dyfod yn Arch-offeiriad y daioni
14 a fyddent rhag llaw, trwy dabernacl mwy a pher-
ffeithiach, nid o waith dwylo, hynny yw, nid o'r ad-
ailadaeth ymma,
12 Nid chwaith trwy waed geifr a lloi: eithr trwy ei
waed ei hun yr aeth efe un waith i mewn i'r cyssegr,
ac a gafas dragywyddol ollyngdod o gaethiwed.
y Lef 16,5 13 y O blegit os ydyw gwaed teirw, a geifr a lludw
anner wedi ei daenu ar y rhai halogedig yn sancteiddio
puredd y cnawd,
z Act. 20 14 z O ba faint mwy, y pura gwaed Crist (yr hwn
28 trwy yr Yspryd tragywyddol a'i offrymmodd ei hun
Rhuf. 1,4 Luc 1,74 yn ddifai i Dduw) eich cydwybod chwi oddi wrth
feirwon weithredoedd, i wasanaethu y Duw byw?
a Act. 15 15 a Ac am hynny y mae efe yn gyfryngwr, y cy-
1 fammod newydd, megis trwy fod marwolaeth yn ym-
wared oddi wrth y camweddau y rhai oeddent tann y
cyfammod cyntaf, y derbynie y rhai a alwyd yr eti-
feddiaeth dragywyddol.
16 O blegit lle bydd testament, rhaid yw digwyddo
marwolaeth y testament-wr.
17 Canys o'r meirw y caiff y testament ei rym: o
blegit nid oes nerth ynddo tra fyddo byw y testament-
wr.
b Ecs. 24 18 O ba achos ni chyssegrwyd y cyntaf heb waed.
8 19 b Canys wedi traethu o Moses y gorchymyn oll,
i'r bobl yn ol y gyfraith, efe a gymerodd waed lloi a
geifr, gyd â gwlân porphor, ac Ysop, ac a'i taenell-
odd ar y llyfr, a'r bobl oll,
c Ecs. 24 8 20 c Gan ddywedyd, Hwn yw gwaed y testament, yr
d Lef. 16 15 hwn a orchymynnodd Duw i chwi.
21 d Y tabernacl hefyd a holl lestri y gwasanaeth a
daenellodd efe â gwaed yr un modd,
22 A phob peth gan mwyaf wrth y gyfraith a burid
trwy waed, ac heb ollwng gwaed nid oes maddeuant.
23 e Am hynny angenrheidiol ydoedd i bortreiadau e Eph.1,3
y pethau sy yn y nefoedd gael eu puro â'r pethau hyn:
a'r pethau nefol eu hunain ag aberthau gwell nâ'r
rhai hyn.
24 f Canys nid i gyssegr o waith llaw yr aeth Crist f Rhuf. 8
yr hwn sydd bortreiad i'r gwir gyssegr: eithr efe a 34
aeth i'r nefoedd i ymddangos yn awr ger bron Duw 1Tim.2,5
trosom ni.
25 Ac nid iw offrymu ei hun yn fynych fel y mae
yr arch-offeiriad yn myned i mewn i'r cyssegr bob
blwyddyn a chanddo waed dieithr.
26 h Pe amgen rhaid fuase iddo ddioddef yn fynych g Gal.4,4
o ddechreuad y byd, eithr yn awr un-waith yn niwedd Eph.1,10
y byd yr ymddangosed efe i ddeleu pechod trwy ei
aberthau ei hun.
27 Ac megis y gosodwyd i ddynion farw unwaith,
ac yn ol hynny bod barn,
28 h Felly Crist hefyd a aberthwyd un-waith i ddwyn h 1 Pedr
pechodau llawer, yr ail waith heb bechod yr ymdden- 2, 24
gys efe i'r rhai sy yn ei ddisgwil er iechydwriaeth.

## PEN. X.

*Na alle y gyfraith a'i haberthau ddeleu pechod, ac am hynny bod yn rhaid yr aberth arall a wnaeth Crist.*

OBLEGIT y gyfraith yr hon sydd ganddi gyscod
daionus bethau i ddyfod, ac nid gwir ddelw y
pethau, ni alle byth berffeithio y dyfodiad drwy yr
aberthau hynny, y rhai bob blwyddyn a offrymment
yn oestadol.
2 Pe amgen hwy a beidiasent a'u hoffrymmu, am na
buase cydwybod pechod mwy gan y rhai a offrym-
masent wedi eu glanhau un-waith.
3 i Eithr yn yr rhai hynny y bydd bob blwyddyn i Lef. 16
adcoffa pechodau. 21
4 Canys ni ddichon gwaed teirw a geifr dynnu ym-
maith bechodau.
5 j O ba achos y mae efe wrth ddyfod i'r byd yn j Gal. 4 4
dywedyd, aberth, ac offrwm ni's mynnaist: eithr corph Ioan 1, 4
a gymhwysaist i mi.
6 Offrymmau poeth a thros bechod ni buost foddlon
iddynt.
7 Yna dywedais, Wele fi yn dyfod; (y mae yn scri- k Ioan 4
fennedig yn nechreu y llyfr am danaf) i wneuthur dy 34 a,5,30
ewyllys di O Dduw.
8 Wedi iddo ddywedyd uchod, Aberth ac offrwm, l Sal.50, 9
ac offrymmau poeth, a thros bechod ni's mynnaist, ac
ni's derbyniaist (y rhai a offrymir wrth y gyfraith)
9 m Yna y dywedodd, Wele fi yn dyfod i wneuthur m Ioan 17
dy ewyllys di O Dduw, y mae yn tynnu ymaith y 4
cyntaf, er mwyn gosod y diweddaf.
10 Trwy yr hwn ewyllys yr ydym wedi ein sanc-
teiddio, trwy offrymiad corph Iesu Grist un-waith.
11 Am hynny pob offeiriad sydd yn sefyll beunydd
ger bron, gan wasanaethu, ac offrymmu yn fynych yr
un aberthau, y rhai ni allant fyth ddeleu pechodau.
12 n Eithr hwn wedi iddo un-waith offrymmu aberth n 1 Tim. 2
tros bechodau, sydd yn dragywyddol yn eistedd ar 5
ddeheu-law Dduw?
13 Gan aros yr hyn sydd yn ol, hyd oni osoder ei
elynion ef yn droedfainc i'w draed ef.
14 o Canys ag un offrwm y perffeithiodd efe yn dra- o Rhuf. 3
gywyddol y rhai sy wedi eu sancteiddio, 25
15 Y mae yr Yspryd Glan hefyd yn testiolaethu i

ni hyn: canys ar ol iddo ef ddywedyd ymlaen-llaw,
p Jer. 31 33 16 p Dymma'r cyfammod yr hwn a amodaf â hwynt
ar ol y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd, mysi a
osodaf fyng-hyfreithiau yn eu calonnau, ac a'u scri-
fennaf yn eu meddyliau;
17 Ac ni chofiaf mwy eu pechodau nau hanwiredd
hwynt.
q Ioan 1 7 18 q Felly lle byddo maddeuant am y rhai hyn ni
bydd mwy offrwm tros bechod.
r Rhuf. 5 2 19 r Am hyn frodyr, gan fod i ni rydd-did i fyned i
s Ioan 14 mewn i'r cyssegr trwy waed Iesu,
6 Pen. 1, 18 20 s Ar hyd y ffordd a gysegrodd efe i ni yn newydd,
t Eph. 1 ac yn fyw, trwy'r llen, sef ei gnawd,
22 21 t A [bod i ni] Arch-offeiriad ar dŷ Dduw,
22 Nessawn â chalon gywir mewn llawn hyder ffydd,
wedi puro ein calonneu oddi wrth gydwybod ddrwg,
a golchi ein corph â dwfr glân.
23 Cadwn gyffes ein gobaith, yn ddisigl: canys
ffyddlon yw'r hwn a addawodd.
24 A chydystyriwn bawb ei gilydd, i ymannog i
gariad, a gweithredoedd da.
u Act. 2, 25 u Ac na wrthodwn ein cydgynhulliad ein hun,
42 1 Cor. 11 megis y mae arfer rhai: eithr ymgynghorwn, a hynny
20 yn fwy, o achos eich bod yn gweled y dydd yn nessau.
v Ecs. 21 13 26 v Canys os o'r gwaith ddioddef y pechwn ar ol
Pen. 6, 4 derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes mwy
aberth wedi ei adel tros bechodau,
w Pen. 9 29 27 w Eithr aruthrol ddisgwiliad barn, ac angerth tân
yr hwn a ddifa y gwrthwyneb-wŷr.
x Num. 15 31 28 x Yr hwn a dorro gyfraith Moses a roddir i far-
wolaeth heb drugaredd tann ddau, neu dri o dystion.
y Pen. 2, 3 29 y Pa faint mwy dialedd dybygwch chwi y bernir
a 12, 25 heuddu o'r hwn a sathrFab Duw, ac a farno yn aflan
Act. 6, 10 a 7, 51, 54 waed y cyfammod, trwy 'r hwn y sancteiddiwyd ef,
ac a ddifenwo Yspryd y gras?
z Luc 12 47 30 z Canys nyni a adwaenom y neb a ddywedodd,
Mysi pieu dial: mysi a dalaf medd yr Arglwydd: a
thrachefn, Yr Arglwydd a farna ei bobl.
31 Peth aruthrol yw syrthio yn llaw y Duw byw.
32 Gelwch bellach i'ch cof y dyddiau o'r blaen, yn y
rhai wedi eich llewyrchu y dioddefasoch ymdrech
mawr ag adfyd.
a 1 Cor. 4 9 33 a Tra dygyd chwi allan weithiau trwy wradwydd
chystudd i fod yn watwargerdd, ac i fod yn ddrych-
iolaeth, weithiau tra gwnelid chwi yn gymdeithion i'r
rhai a fyddent yn ymdrino felly.
b Act. 5, 41 34 b Canys am fy rhwymau mausi yr oeddych yn cyd-
Iago 1, 2 ddolurio â mi, ac chwi a gymmerasoch yn llawen ys-
peilio eich golud, gan wybod fod gennych olud gwell
yn y nefoedd, yr hwn hefyd sydd barhaus.
c Pen. 11 26 35 c Am hynny na fwriwch ymmaith eich hyder yr
1 Cor. 15 hon sydd iddi fawr wobr.
58 d Luc 8 15 36 d Canys rhaid ydyw i chwi wrth ammynedd, fel
wedi i chwi wneuthur ewyllys Duw, y derbynioch yr
addewid.
37 Oblegit ychydigyn bach etto, a'r hwn sydd ar
ddyfod a ddaw, ac nid oeda.
38 A'r cyfiawn fydd byw trwy ffydd, eithr o chilia
[neb] nid yw fy enaid fodlon iddo.
e Ioan 3 16 39 e Eithr nid ydym ni ar encil i golledigaeth, nam-
yn o ffydd i gadwedigaeth yr enaid.

## PEN. XI.

*Am ffydd a'i hamryw ffrwythau.*

f 2 Cor. 5 7 Ioan 20 29 FFYDD f yn wir yw sail y pethau a obeithir, a
siccrwydd y pethau ni's gwelir.
2 Oblegit trwyddi hi yr ennillodd yr henafiaid air da.
3 g Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y byd g 1 Pedr 3, 5
trwy air Duw, yn gymmaint nad o bethau gweledig y Sal. 33, 6
gwnaed y pethau a welir.
4 h Trwy ffydd yr offrymmodd Abel i Dduw aberth h Gen. 4. 4
rhagorach na Chain, trwy 'r hon yr ennillodd efe dest- Lef. 9, 24
iolaeth ei fod yn gyfiawn, trwy fod Duw yn testiol-
aethu am ei roddion ef a thrwy 'r [ffydd] hon wedi
marw, y mae etto yn llefaru.
5 i Trwy ffydd y cymmerwyd Enoch ymmaith, rhag i Gen. 5, 22
gweled marwolaeth: ac ni chaed ef: am ddarfod i
Dduw ei gymmeryd ef ymmaith, eithr cyn ei gymmeryd
ef ymmaith, efe a gawse 'r gair o fod yn bodloni Duw.
6 j Eithr heb ffydd ni ellir bodloni, o blegit credu j 2 Cor. 13 5
sydd raid i'r neb a ddel at Dduw, ei fod ef, a'i fod yn Eph. 3, 17
obrwy-wr y rhai a ymgais ag ef.
7 k Nôe trwy ffydd (wedi i Dduw ei rybuddio am y k Gen. 6
pethau ni's gwelsid etto) yn llawn o ofn parchedig, a 13
ddarparodd long i achub ei deulu, trwy 'r hon long y
condemnodd efe y byd, ac efe a wnaethbwyd yn etif-
edd y cyfiawnder yr hwn sydd o ffydd.
8 l Trwy ffydd gwedi galw Abraham, yr ufyddhaodd l Gen. 12
i fyned i'r man a gaffe efe ryw amser yn etifeddiaeth, 2, 7 Mat. 16
ac yr aeth, heb wybod i ba le yr oedd yn myned. 24
9 m Trwy ffydd yr arhosodd efe yn nhir yr addewid, m Gen. 17
megis mewn [tir] dieithr, ac y preswylodd mewn 17 a 25, 4
lluestau gyd ag Isaac, ac Iacob cyd-etifeddion yr un
addewid.
10 n Canys disgwyl yr ydoedd am y ddinas, ac iddi n 2 Cor. 5 1
sail, saer ac adeiladudd yr hon yw Duw. Dat. 21, 2
11 o Trwy ffydd Sarah hithe yn amhlantadwy a o Rhuf. 4
dderbyniodd nerth i ymddwyn hâd, ac a escorodd 19
wedi amser oedran, am ei bod hi yn barnu yn ffydd-
lon yr hwn a addawse.
12 p Ac o herwydd hynny o un a hwnnw wedi mar- p Gen. 22
weiddio y cenhedlwyd cynifer a sêr yr wybr mewn 17 a 15, 5
rhifedi, ac megis y tywod aneirif ar lan y môr.
13 q Mewn ffydd y bu farw y rhai hyn oll heb dder- q Ioan 8
byn yr addewidion, eithr o bell eu gweled hwynt, a 56 Gen. 15,
chredu, a chyfarch, a chyfaddef eu bod yn ddieithr, 13
ac yn ymdeithiaid ar y ddaiar.
14 Canys y mae y rhai sy yn dywedyd hyn yn dan-
gos yn eglur eu bod yn ceisio gwlad,
15 Pe buasent hwy yn meddwl am y wlad y daeth-
ant allan o honi, hwynt hwy a gawsent amser i ddych-
welyd.
16 Eithr yn awr gwlad well y maent yn ei chwen-
nychu, sef y nefol: o achos pa ham nid cywilydd gan
Dduw ei alw eu Duw hwynt hwy, o blegit efe a bar-
atodd ddinas iddynt.
17 r Trwy ffydd yr offrymmodd Abraham, Isaac, r Gen. 22
pan fu profedigaeth arno, a'i unic fab a offrymmodd yr 1 2 Cor. 8
hwn a gawse yr addewidion. 12
18 s Wrth yr hwn y dywedasid, Yn Isaac y gelwir i s Gen. 21
ti hâd. 12
19 Gan ystyried y galle Duw gyfodi [rhai] o feirw: o
ba herwydd efe ai derbyniodd ef mewn cyffelybrwydd.
20 t Trwy ffydd y bendithiodd Isaac ei fab Iacob, t Gen. 27
ac Esau, am y pethau a ddelent rhag llaw. 39
21 u Trwy ffydd pan oedd Iacob yn marw y rhoes u Gen. 47
fendith i bob un o feibion Ioseph, ac [a'i bwys] ar ben 31
ei ffon, yr addolodd efe.
22 v Trwy ffydd pan oedd Ioseph yn marw, y coff- v Gen. 50
aodd am ymadawiad plant Israel, ac y rhoddodd orch- 24
ymyn am ei escyrn.

wEcs.2,1 23 w Trwy ffydd pan anwyd Moses, y cuddiwyd ef
dri-mis gan ei rieni, o achos eu bod yn ei weled yn
x Act. 7, faehgen tlws, ac nid ofnasant orchymyn y brenin.
23 24 x Trwy ffydd Moses wedi myned yn fawr, a
wrthodes ei alw yn fab merch Pharao,
25 Gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyd â phobl
Dduw, na chael mwyniant pechod tros amser.
yPen. 13 26 y Gan farnu yn fwy golud dirmig Crist na thryssor
8 yr Aipht-wŷr: canys edrych yr oedd efe am daledig-
aeth y gobrwy.
zSal 16,8 27 z Trwy ffydd y gadawodd efe yr Aipht heb ofni
1 Tim. 1 llid y brenin: canys efe a ymwrolodd fel [un] yn
16 gweled y neb sydd anweledig.
a Ecs. 12 28 a Trwy ffydd y gwnaeth efe y Pasc, a gollyngiad
21 y gwaed, rhac i'r hwn ydoedd yn dinistrio y rhai cyntaf-
af-anedig gyffwrdd a hwynt.
b Ecs. 14 29 b Trwy ffydd yr aethant trwy 'r môr coch, megis
22 trwy 'r tir sych, yr hyn pan brofodd yr Aiphtiaid boddi
a wnaethant.
cJos 7,20 30 c Trwy ffydd y syrthiodd caerau Iericho wedi eu
hamgylchu tros saith niwrnod.
dJos. 2,1 31 d Trwy ffydd ni ddifethwyd Rahab y butain gyd
a 6, 23 â'r rhai anufydd, pan dderbyniodd hi yr spiwyr yn
heddychol.
eBarn. 6 32 e A pheth mwy a ddywedaf? canys yr amser a
11. a 4, 6 balle i mi i fynegu am Gedeon, am Barac, a Samson,
ac Iephte, am Ddafydd hefyd a Samuel, a'r proph-
wydi:
fJos.12,1 33 f Y rhai trwy ffydd a orescynnasant deyrnasoedd,
a wnaethant gyfiawnder, a gawsant yr addewidion, a
gauasant safnau 'r llewod,
g Dan. 3 34 g A ddiffoddasant angerth y tân, a ddiangasant
24 gan fin y cleddyf, o wendid a ymnerthasant, ac a aeth-
ant yn gedyrn mewn rhyfel, ac a yrrasant fyddinoedd
yr estroniaid ar encil.
h 1 Bren 35 h Gwragedd a dderbyniasant eu meirw wedi eu
17, 22 codi yn fyw eil-waith: eraill a ddirdynnwyd heb dder-
byn ymwared, fel y gallent hwy gael adgyfodiad
gwell.
i Sal. 123 36 i Eraill a gawsant brofedigaeth trwy watwar a
3 j 2 Cron ffiangellau, trwy rwymau hefyd a charchar.
24, 11 37 j Hwynt hwy a labyddiwyd, a dorrwyd yn ddryll-
iau, a demptiwyd, a laddwyd yn feirw a'r cleddyf, a
grwydrasant mewn crwyn defaid a geifr, yn ddiddym,
yn gystuddiol, ac yn ddrwg eu cyflwr.
38 Y rhai ni haedde y byd eu cael: cyrwydro yr
oeddent yn y diffaethwch, ac yn y mynyddoedd, mewn
tyllau ac ogfeudd y ddaiar.
39 A'r rhai hyn oll wedi heuddu testiolaeth trwy
ffydd, ni chawsant yr addewid,
40 Am fod Duw yn rhag-weled peth gwell am danom
ni, fel na pherffeithid hwy heb o'm ninnau.

## PEN. XII.

*Cyngor i fod yn ddioddefgar, yn ddianwadal, 25 a'r rhagor sydd rhwng y ddau Destament*

k Eph. 4 OBLEGIT hynny, ninnau hefyd gan fod cymmaint
22 Zec.7, 11 cwmwl o dystion wedi ein hamgylchu ni, bwriwn
heibio bob pwys, a'r pechod yr hwn sydd barod i'n
hamgylchu, a rhedwn mewn amynedd yr yrfa a osod-
wyd i ni:
2 Gan edrych ar Iesu pen tywysog a pherffeithydd
ein ffydd ni, yr hwn yn lle y llawenydd a osodwyd
iddo, a ddioddefodd y groes, gan ddiystyru gwrad-
wydd; [ac] a eisteddodd ar ddeheulaw gorsedd-faingc
Duw.

3 l Ystyriwch am hynny pwy yw 'r neb a ddioddef- lGal.6. 9
odd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechadur-
iaid: rhag eich blino wedi deffygio yn eich meddyliau,
4 m Ni wrthwynebasoch etto hyd at waed, gan ym- mPen 10
drech yn erbyn pechod. 33, 34
5 Ac chwi a ollyngasoch tros gof y cyngor yr hwn
sydd yn dywedyd wrthych, megis wrth blant, Fy mab,
nac esceulusa gospedigaeth yr Arglwydd, ac na laesa
pan gerydder di ganddo.
6 n Canys y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, y nDiar. 3
mae efe yn ei gospi, ac y mae efe yn ffiangellu pob 12.a 13,24
mab a dderbynio.
7 Os goddefwch gospedigaeth, y mae Duw yn ym-
gynig i chwi, megis i feibion: canys pa fab fydd na's
cospo ei dad ef?
8 Eithr os heb gospedigaeth yr ydych, o'r hon y
mae pawb yn gyfrannog, yna bastardiaid ydych, ac nid
meibion [o briod.]
9 o Heb law hynny cawsom dadau ein cyrph yn gos- o Act. 14
pedig-wyr, ac ni [a'u] parchasom: onid mwy o lawer 23
y mae i ni ymostwng i Dad yr ysprydau, a chael byw?
10 Canys hwynt hwy yn wir tros ychydig ddyddiau
a'n cospent ni, fel y bydde dda ganddynt: eithr hwn
a'n cospa er lleshad i ni, fel y byddem gyfrannogion
o'i sancteiddrwydd ef.
11 p Ni welir chwaith yn hyfryd un gospedigaeth pRhuf. 6
tros yr amser presennol, eithr yn anhyfryd: etto wedi 23
hynny, heddychol ffrwyth cyfiawnder a rydd hi i'r rhai
a fyddant wedi eu cynnefino â hi.
12 Am hynny gwnewch yn sythion eich dwylo llaes-
edig, a'r gliniau diffrwyth:
13 q A gwnewch lwybrau iniawn i'ch traed, fel nad q Diar. 4
elo y cloff tros ei ffordd, namyn yn hytrach cael ei 26.
iachau.
14 r Dilynwch heddwch â phawb, a sancteiddrwydd, r2Bren.9
heb yr hwn ni chaiff neb weled yr Arglwydd. 22 Zec. 8,16
15 s Gan ddisgwil rhag na phallo neb oddi wrth ras Rhuf. 15
Duw: rhag blaguro o ryw wreiddin chwerw a pheri 5 s Deut.
blinder, a thrwy hwnnw llygru llawer. 29, 18
16 t Na fydded un putteiniwr, neu aflan megis Esau, tGen. 27
yr hwn am un saig o fwyd a werthodd ei enedigaeth- 33
fraint.
17 u Canys chwi a wyddoch y modd wedi hynny uGen. 27
hefyd pan fynase efe etifeddu y fendith y gwrthodwyd 33, 37, 41
ef: o blegit ni chafas efe gyfle i edifarhau, er ei fod
trwy ddagreu yn ei cheisio hi.
18 v O blegit ni ddaethoch chwi at y mynydd teiml- v Ecs. 19
adwy, a'r tân poeth, a'r cwmwl, a'r tywyllwg, a'r 12
dymestl,
19 w A sain yr udcorn, a llef y geiriau, yr hon y rhai wDeut. 4
a'i clywsant, a ymescusodasant i gael na bydde mwy o'r 12
ymadrodd wrthynt hwy.
20 x Oblegit ni allent hwy oddef yr hyn a orchym- x Ecs. 19
ynnasid, os cyffyrdde bwyst-fil â'r mynydd, efe a la- 13
byddid [neu a wenid â phiccell.]
21 y Ac mor aruthr ydoedd y golwg yr hwn oedd yn ySal 143,
ymddangos, ac y dywedodd Moses, yr ydwyf yn ofni, 2
ac yn crynu.
22 z Eithr chwi a ddaethoch i fynydd Sion, a dinas z Gal. 4
y Duw byw, i Ierusalem nefol, a llawer myrddiwn o 26
angelion.
23 a I gymmanfa a chynnulleidfa y rhai cyntaf-an- a Dat. 14
edig, y rhai a scrifennwyd yn y nefoedd, ac [at] 4
Dduw barnwr pawb, ac [at] yspryddoedd y cyfiawn y
rhai a berffeithiwyd,

b Gen. 4 10 24 [b] Ac [at] Iesu cyfryng-wr y Testament Newydd, a
gwaed y taenelliad, yr hwn sydd yn dywedyd pethau
gwell na [gwaed] Abel.

25 Edrychwch nad ysceulusoch y neb sydd yn dy-
wedyd: o blegit oni ddiangodd y rhai a'i gwrthwyn-
ebasant ef, yr hwn ydoedd yn llefaru yn enw Duw ar
y ddaiar: nyni yn hytrach o lawer [ni ddiangwn] os
gwrthwynebwn y neb sydd [yn dywedyd] o'r nefoedd.

26 [c] Llef yr hwn yna a esgydwodd y ddaiar, yn awr
c Ecs 19 18 hefyd y mynegodd, gan ddywedyd, Etto unwaith yr
Eph 3, 10 escydwaf nid yn unic y ddaiar, eithr y nefoedd hefyd.

27 [d] Yr etto unwaith hynny, sydd yn arwyddocau
d Pen 9, 11 treigliad y pethau ansafadwy, megis pethau wedi eu
gwneuthur, fel y parhao y pethau safadwy.

28 Am hynny gan ein bod ni yn derbyn teyrnas ddi-
sigl, meddiannwn y gras, drwy 'r hwn y gallom was-
anaethu Duw wrth ei fodd ef trwy wyldra a pharch-
edig ofn.

e Deut 4 24 29 [e] O blegit ein Duw ni sydd dân yssol.
Sal 50, 3

## PEN. XIII.

*Cyngor i ddilyn gweithredoedd cariad, 4 I berchi priodas, I ochelyd cubydd-dod, 13 I ddioddef gyd â Christ, 17 ac i ufyddhau.*

PARHAUED [f] cariad brawdol.
f Rhuf 12 10 2 [g] Nac anghofiwch fod yn lletteugar: canys
g Gen 18 1 felly y lletteuodd rhai angelion heb wybod.

h 1 Cor 12 25 3 [h] Meddyliwch am y rhai sydd mewn rhwymau, fel
pe baech yn rhwym gyd âg hwynt: [a'r] rhai cystudd-
2 Cor 4. 10 iol, fel rhai yn bod yn y corph [yn gystuddiol.]

4 Anrhydeddus yw priodas ym mhawb, a'r gwely
dihalogedic: eithr y putteinwyr a'r rhai godinebus a
farna Duw.

i Jos 1, 5 5 [i] Bydded eich ymarweddiad yn ddi serch i arian,
gan fod yn fodlon i'r hyn sydd gennych yn bresennol,
canys efe a ddywedodd, Ni phallaf i ti, ac ni's gadaw-
af di chwaith:

6 [j] Fel y gallom ddywedyd yn hyf, Yr Arglwydd
j Sal 118 6 sydd gymmorth i mi, ac nid ofnaf beth a wnel dyn
i mi.

7 Meddyliwch am eich preladiaid, y rhai a draethas-
ant i chwi air Duw: calynwch eu ffydd hwynt, gan
ystyr beth yw diwedd eu hymarweddiad hwynt.

k 1 Cor 3 11 8 [k] Iesu Grist ddoe a heddyw: yr un hefyd yn dra-
gywydd.

9 Nedwch eich dwyn o amgylch ag athrawiaethau
amryw a dieithr: canys da 'ydyw cadarnhau y galon
â gras, ac nid â bwydydd, y rhai ni thycciasant i'r
rhai a rodiasant ynddynt.

10 Y mae gennym ni allor o'r hon nid oes awdurdod
i'r rhai sydd yn gwasanaethu yn y tabernacl i fwyta.

11 [l] Canys yr anifeiliaid y rhai a ddwg yr archoffeir- l Lef 4, 11
iad i'r cyssegr tros bechod, cyrph y rhai hynny a losgir
o'r tu allan i'r gwersyll.

12 [m] Ac am hynny yr Iesu hefyd i sancteiddio'r bobl m Mat 21
trwy ei waed ei hun, a ddioddefodd o'r tu allan i'r
porth.

13 [n] Am hynny awn atto ef o'r tu allan i'r gwersyll, n Phil 3 17
gan ddwyn ei wradwydd ef.

14 [o] O blegit nid oes i ni ymma ddinas barhaus, eithr o Pen 11 10
yr ydym ni yn ceisio yr hon a fydd.

15 [p] Offrymmwn o blegit hynny yn oestadol trwyddo p 1 Pedr 2, 5
ef aberth moliant i Dduw, hynny yw, ffrwyth gwefus-
au, yn cyffessu ei enw ef.

16 Nac anghofiwch y gyweithasrwydd a chyfranniad;
canys â chyfryw ebyrth y bodlonir Duw.

17 [q] Ufuddhewch eich preladiaid, ac ymddarostyng- q 1 Thes. 5. 12
wch: o blegit gwilio y maent tros eich eneidiau chwi, Mat 16, 6
megis rhai fydd rhaid iddynt roddi cyfrif, fel y gallant 12
wneuthur hynny yn llawen, ac nid yn drist: canys
difudd [fydde] hynny i chwi.

18 Gweddiwch trosom ni; canys yr ydym yn hyder-
us fod gennym ni gydwybod dda ym mhob peth, gan
chwennychu byw yn onest.

19 Ond yr ydwyf yn helaethach yn dymuno gwneu-
thur o honoch hyn, i gael fy rhoddi i chwi trachefn
yn gynt.

20 [r] Duw yr heddwch yr hwn a ddug trachefn oddi r Rhuf 15 33
wrth y meirw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y Ioan 10
defaid, trwy waed cyfammod tragywyddol, 11

21 A'ch gwnelo yn berffaith ym mhob gweithred
dda, i wneuthur ei ewyllys ef, trwy weithio ynoch yr
hyn sydd gymmeradwy yn ei olwg ef trwy Iesu Grist,
i'r hwn y byddo gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

22 [s] Ac yr ydwyf yn attolwg i chwi O frodyr godd- s 2 Tim. 4 3
efwch air y cyngor, o blegit ag ychydig [eiriau] yr
scrifennais attoch.

23 Gwybyddwch ollwng ein brawd Timotheus yn
rhydd, gyd â'r hwn, o daw efe ar fyrder yr ymwelaf
â chwi.

24 [t] Annerchwch eich preladiaid oll, a phawb o'r t Act. 10 30
sainct, y mae yr Italiaid yn eich cyfarch chwi.

25 Gras fyddo gyda chwi oll. Amen.

*O'r Ital yr scrifennwyd hwn at yr Hebrœaid gyd â Thimotheus.*

---

# EPISTOL IACO.

## PENNOD I.

*2 Y mae Iaco ymma yn rhoddi cyngor i fod yn llawen mewn blinder. 6 I fod yn ystic mewn gweddi trwy ffydd gadarn. 17 I ddisgwil am bob daioni oddi uchod. 21 I ymwrthod âg oll gamweddau, ac yn ddiolchus i dderbyn gair Duw. 22 Nid yn unic trwy ei wrando, neu son am dano, eithr hefyd gan fuchedda yn gytun ag ef. 27 Ac y mae yn dangos beth yw gwir grefydd.*

IACO gwasanaethwr Duw a'r Arglwydd Iesu Grist
at y deuddec llwyth gwascaredic, annerch.

2 Cymmerwch yn lle dirfawr lawenydd fy-mrodyr
pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau:

3 [u] Gan wybod y pair profedigaeth eich ffydd chwi u Rhuf 5 3
ammynedd.

4 [v] Ammynedd hefyd caffed ei pherffaith waith, fel v Luc 8 15
y galloch fod yn berffaith ac yn gyfan, heb ddim
diffig.

5 O bydd ar nêb eisieu doethineb, ceisied gan Dduw,
yr hwn sydd yn rhoddi yn haelionus i bawb, ac nis

dannod i nêb, ac fe a'i rhoddir iddo ef.
w Rhuf. 5 20 6 w Eithr ceisied mewn ffydd heb ammeu dim: canys
y nêb a amheno, cyffelyb yw i donn o'r môr, a chwe-
lir, ac a deflir gan y gwynt.
7 Ac na fyddylied y dŷn hwnnw y caiff ddim gan yr
Arglwydd.
8 Gwr dau-ddyblig [ei] feddwl, anwadal yw yng-
hwbl o'i ffyrdd.
x Ioan 1 12 9 x Y brawd a fyddo o radd isel, llawenyched yn ei
oruchafiaeth:
10 Ac elchwyl, y neb a fyddo gyfoethog, yn ei os-
tyngedigaeth: canys megis blodeun y llysieun y di-
flanna efe.
11 O blegit [fel pan] gyfyd yr haul yn y gwres, yna
y gwywa'r llysieun, ac y cwympa ei flodeun, ac y
cyll tegwch ei bryd ef: felly hefyd y diflana'r cy-
foethoc yng-hwbl o'i ffyrdd.
y Sal. 94 12 12 y Happus yw'r gwr a oddef brofedigaeth, canys
Job. 5, 17 pan fyddo profedic, efe a gaiff goron y bywyd yr
hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai ai carant ef.
13 Na ddyweded neb pan demtier ef ei demtio gan
Dduw, canys ni eillir temtio Duw â drwg, ac nid yw
efe yn temtio neb.
z Rhuf. 1 27 14 z Eithr pob rhyw un a demtir, pan ei tynner gan
ei chwant ei hun, ac y llithier ef.
a Sal. 7, 14 15 a Ac yna gwedi i drachwant ymddwyn, escor ar
bechod a wna: pechod hefyd pan orphener a escor ar
farwolaeth.
16 Na chyfeiliornwch fy annwyl frodyr.
b Rhuf. 11, 36 17 b Pob dawn daionus a phob rhodd berffaith oddi
uchod y mae yn descyn oddiwrth dâd y goleuni, gyd
a'r hwn nid oes trasymydigaeth, na chysgodiad troed-
igaeth.
c Rhuf. 9 11 18 c O'i wir ewyllys yr enillodd efe nyni trwy air y
Mat. 11, 6 gwirionedd, fel y gallem fod megis blaen-ffrwyth ei
greaduriad ef.
19 O achos hyn fy-mrodyr annwyl, bydded pob dyn
escud i wrando, diog i lefaru, a diog i ddigofaint.
20 Canys digofaint gwr nid yw yn cyflawni cyfiawn-
der Duw.
d 1 Thes. 2, 13 21 d Am hynny rhoddwch heibio bob budreddi, a
phob amldra malis, a thrwy addfwyndra derbyniwch
yr impiedic air, yr hwn a ddichon gadw eich eneidiau.
e Ioan 13 17 22 e Byddwch wneuthur-wyr y gair ac nid gwrandaw-
yr yn unic, gan eich twyllo eich hunain.
23 Canys o gwrendu neb y gair, ac heb ei wneuthur,
tebyg yw hwnnw i wr yn edrych ei wyneb-pryd nattur-
iol mewn drych,
f Heb. 2, 1 24 f Canys ystyriodd ef ei hun ac aeth ymmaith, ac
yn y man anghofiodd pa sut ydoedd.
g Ioan 8 36 25 g Eithr y neb a edrycho ar yr hon sydd berffaith
gyfraith rhydd-did, ac a erys ynddi, am nad ydyw efe
wrandawr anghofus, eithr gwneuthurwr y weithred,
happus fydd yn ei weithred.
26 Os tybir fod neb yn eich mysg yn grefyddol, yr
hwn nid attalio ei dafod, eithr sydd yn twyllo ei galon
ei hun, crefydd hwnnw ofer yw.
27 Crefydd bur a difrycheulyd ger bron Duw a'r Tad
yw hyn, ymweled â'r ymddifaid a'r gwragedd gwedd-
won yn eu hadfyd, ac ymgadw ei hun yn ddihalog-
edig oddi wrth y byd.

## PEN. II.

1 *Ymma y mae yn gwahardd derbyn wyneb, sef ystyried mewn neb yr hyn sydd fydol, megis cyfoeth cenedl a'r cyfryw.* 8 *Ac y mae yn erchi bod yn garedigol ac yn drugarog.* 14 *Ac na ymhonner ffydd lle ni bo gweithredoedd.* 17 *Canys ffydd farw yw yr hon sydd heb weithredoedd da.*

FY-mrodyr na fydded gennych chwi ffydd ein Har-
glwydd ni Iesu Grist gogoneddus yng-hyd â
derbyn wyneb.
2 O blegit os daw i mewn i'ch cynnulleidfa chwi wr
yn arwen modrwy aur ac mewn dillad gwychion, a
dyfod gwr tlawd hefyd mewn dillad gwaelion,
3 Ac edrych o honoch ar y neb sydd yn arwen dill-
ad gwychion, a dywedyd wrtho, Eistedd di ymma
mewn lle da: a dywedyd wrth y tlawd, Eistedd di yna,
ne eistedd ymma islaw fy stôl droed i.
4 Ond ydych chwi ynoch eich hunain yn barnu, ac
[oni] wnaethbwyd chwi yn farnwyr meddyliau drwg? h Eph. 1 4
5 h Gwrandewch fy mrodyr annwyl, oni ddewisodd
Duw dlodion y byd hwn i fod yn gyfoethogion mewn 1 Cor. 1 27
ffydd, ac i fod yn etifeddion i'r deyrnas, yr hon a
addawodd efe i'r rhai a'i carant ef?
6 i Chwithau ydych yn amherchi y tlawd, onid yw y i 1 Tim. 6 9
cyfoethogion yn gwneuthur yn drahaus â chwi, ac
ond ydynt hwy yn eich llusco chwi ger bron y gor-
sedd-feingciau?
7 j Ond ydynt hwy yn cablu yr enw rhagorol trwy j Rhuf. 2 24
yr hwn y cyfenwir chwi?
8 k Os cyflawnwch chwi y frenhinol gyfraith ar ol yr k Lef. 19 18
scrythur: Car dy gymmydog fel ty di dy hun, da y
gwnewch.
9 Eithr os derbyniwch chwi wyneb [dyn] yr ydych
yn gwneuthur pechod, ac yr ydych yn cael cerydd gan
y gyfraith fel trosedd-wyr.
10 Canys pwy bynnag a gatwo'r gyfraith ei gyd, ac
a ballo mewn un [pwngc] y mae efe yn euog o'r cwbl.
11 Oblegit y neb a ddywedodd, Na odineba, a ddy-
wedodd hefyd, Na ladd: os ti ni odinebi, ac etto a
leddi, yr wyt yn drosseddudd y gyfraith.
12 l Felly dywedwch, ac felly gwnewch, megis rhai l Pen. 1
a fernir wrth gyfraith rhydd-did. 27
13 m Canys barn heb drugaredd fydd i'r neb ni wnel m Luc 16
drugaredd, ac y mae trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn 24
barn.
14 Pa fudd fy mrodyr o dywed neb fod ganddo
ffydd, ac heb fod ganddo weithredoedd? a ddichon y
ffydd hono ei gadw ef?
15 n O blegit os bydd brawd ne chwaer yn noeth, ac n Heb. 11
eisieu beunyddol ymborth, 37
16 o A dywedyd o un o honoch wrthynt, Ewch mewn o 1 Ioan 3
hedd, ymdwymnwch, ac ymlenwch, ac etto heb roddi 8
iddynt angenrheidiau'r corph, pa les fydd? Mat. 10, 41
17 Felly ffydd oni bydd iddi weithredoedd marw
ydyw ynddi ei hun.
18 p Eithr rhyw un a ddywed, Ty di, ffydd sydd p Mat. 7
gennit, minneu gweithredoedd sy gennif dangos i mi 17
dy ffydd wrth dy weithredoedd, ac myfi a ddangosaf
i ti fy ffydd wrth fyng-weithredoedd.
19 q Credu yr wyt ti mai un Duw sydd: da yr wyt yn q Act. 8
gwneuthur, y mae y cythreuliaid hefyd yn credu ac 13
yn crynu.
20 r Eithr a fynni di wybod, O dy di ofer-ddyn, mai r Mat. 3, 9
marw yw'r ffydd yr hon sydd heb weithredoedd. a 23, 27
21 s Onid trwy ffydd y cyfiawnwyd Abraham ein tad s Gen. 22
ni, pan offrymmodd efe Isaac ei fab ar yr allor? 12
22 t Ti a weli fod ffydd yn cydweithio â'i weithred- t Gal. 5, 6
oedd ef, a thrwy weithredoedd y perffeithiwyd y ffydd. a 2, 20
23 u A'r scrythur a gyflawnwyd yr hon a ddywed, x Rhuf. 4
Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifed iddo yn lle 23

cyfiawnder: a galwyd ef yn gyfaill i Dduw.
24 Chwi a welwch gan hynny mai o weithredoedd
y cyfiawnheir dyn, ac nid o ffydd yn unic.
25 Yr un ffunyd Rahab y buttain, onid o weithred-
oedd y cyfiawnhawyd hi, pan dderbyniodd hi y cen-
nadau, a'u danfon ymmaith ffordd arall?
26 Canys megis y mae'r corph heb yr yspryd yn farw:
felly ffydd heb weithredoedd marw ydynt.

## PEN. III.

*2 Y mae yn gwahardd chwennychu anrhydedd tu hwnt ein brodyr. 3 Ac yn dangos cynneddfau'r tafod. 15, 16 A pha wahan sydd rhwng doethineb Duw a doethineb y byd.*

v Mat. 7. 1, 2 NA v cheisiwch fod yn feistred lawer, fy mrodyr,
w Preg. 7. 20 gan wybod y cawn ni farnedigaeth fwy.
Diar. 20. 9 2 w Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb
yn llithro: o bydd i neb na lithro ar air hwnnw sydd
wr perffaith, ac a ddichon ffrwyno'r holl gorph.
3 Wele, yr ydym ni yn rhoddi ffrwynau yn mhennau
y meirch i'w gwneuthur yn ufydd i ni, ac yr ydym ni
yn troi eu holl gyrph hwynt oddi amgylch,
4 Wele hefyd y llongau, y rhai er eu bod cymmaint,
a gwynt creulon i'w gyrru, etto troir hwynt oddi am-
x Sal. 12, 3 gylch â llyw bychan, lle y mynno'r llywudd.
5 x Felly y tafod hefyd aelod bychan yw, yn bostio
pethau mawrion, wele faint y defnydd a ynnynna
y Mat. 15. 18, 20 ychydig dân.
6 y A'r tafod tân ydyw, ïe byd o anwiredd: felly y
gosoded y tafod ym mysc ein haelodau, fel y llygra
efe yr holl gorph, yn fflammau troell naturiaeth, ac
yn fflammedig gan uffern.
7 Canys holl natur anifeiliaid, ac adar ac ymlusciaid,
a'r pethau yn y mor a ddofir, ac a ddofwyd gan natur
z Sal. 51. 15 ddynol:
8 z Eithr y tafod ni ddichon neb rhyw ddyn ei ddofi,
Sal. 140, 4 drwg anllywodraethus ydyw, yn llawn gwenwyn marwol
9 Trwyddo ef y bendithiwn ni Dduw a'r Tad, a
thrwyddo ef y melltithiwn ni ddynion, a wnaethwyd
ar lun Duw.
a 1 Tim. 5. 3 10 a O'r un genau y daw allan fendith a melldith: fy
mrodyr ni ddyle y pethau hyn fod felly.
b Sal. 50. 16 11 b A rydd ffynnon o'r un man ddwfr melus a
chwerw?
12 A ddichon y pren ffygus fy mrodyr ddwyn olif-
aid, ne winwydden ffigus? felly ni ddichon un ffynnon
roddi dwfr hallt a chroiw.
c Sal. 107. 43 13 c Pwy sydd wr doeth a gwybodaeth ganddo yn
eich mysc chwi? dangosed drwy ymwreddiad da ei
weithredoedd mewn mwyneidd-dra doethineb.
d Marc 15, 19 14 d Eithr o bydd cennych chwi genfigen chwerw, ac
ymryson yn eich calonnau, nac ymlawenhewch, ac na
fyddwch gelwyddoc yn erbyn y gwirionedd.
15 Y doethineb hyn nid oddi uchod y mae yn des-
cyn, eithr daiarol, anifeilaidd, a chythreulic [yw.]
16 Canys lle y byddo cenfigen, ac ymryson, yno y
bydd terfysc, a phob gweithred ddrwg.
e Pen. 1. 17 17 e Eithr y doethineb sydd oddi uchod, yn gyntaf
pur ydyw, wedi hynny heddychol, boneddigaidd,
hawdd ei thrino, llawn trugaredd, a ffrwythau da, yn
ddidueddol, ac yn ddi-ragrith.
18 A ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch i'r
rhai heddychol.

## PEN. IV.

*1 Wedi iddo ddangos achos pob anghyfiawnder, ac anwiredd, a hefyd achos pob gras a daioni, 4 Y mae yn cynghori caru Duw, 7 Ac ymroi iddo ef, 11 Bod yn dda ein habsen am ein cymydogion, 13 Ac yn ddioddefus yn ymddygiad i ymgeledd Duw.*

O f BA le y mae y rhyfeloedd a'r ymladdau yn eich f 1 Pedr 2. 11
mysc chwi? onid oddi wrth hyn, sef eich tra-
chwantau, y rhai ydynt yn rhyfela yn eich aelodau?
2 g Chwennychu yr ydych, ac heb gaffael, cenfigennu g Mal. 2. 2, 3
yr ydych, ac eiddigedd sydd arnoch, ac heb allu ym-
oddiwes: ymladd a rhyfela yr ydych heb gael dim,
am nad ydych yn gofyn.
3 Gofyn yr ydych, ac nid ydych yn derbyn, o her-
wydd eich bod yn gofyn ar gam, fel y galloch eu treul-
io ar eich trachwantau.
4 h Chwi odinebwyr, a godineb-wragedd, oni wydd- h 1 Ioan 2. 15
och fod cyfeillach y byd yn elyniaeth gan Dduw? am
hynny pwy bynnag a fynno fod yn gyfaill i'r byd, y mae
yn ymwneuthur yn elyn i Dduw.
5 A ydych chwi yn tybied fod yr Scrythur yn dy-
wedyd yn ofer: yr Yspryd yr hwn sydd yn trigo
ynom ni, at genfigen y mae ei chwant?
6 Eithr y mae 'r Scrythur yn cynnic mwy o ras, ac
am hynny yn dywedyd, Duw sydd yn gwrthwynebu
'r beilchion, ac yn rhoddi gras i'r rhai ufydd.
7 Ymostyngwch gan hynny i Dduw, gwrthwyneb-
wch ddiafol, ac efe a gilia oddiwrthych.
8 i Nessewch at Dduw, ac efe a nessa attoch chwi, i Sal. 73. 28
glanhewch eich dwylo chwi bechaduriaid, a phurwch a 145, 18
eich calonnau, chwi a'r meddwl dau ddyblyg.
9 Ymgospwch, a galerwch, ac wylwch, troer eich
chwerthin yn alar, a'ch llawenydd yn dristwch.
10 j Ymddarostyngwch ger bron yr Arglwydd, ac efe j Sal. 10, 17
a'ch cyfyd i fynu.
11 k Na ddywedwch yn erbyn eu gilydd, fy mrodyr, k Mat. 7. 1
y neb a ddywedo yn erbyn ei frawd, a'r hwn a farno
ei frawd, y mae efe yn dywedyd yn erbyn y gyfraith,
ac yn barnu 'r gyfraith, ac od wyt ti yn barnu 'r gyf-
raith, nid wyt ti gyflawn-wr y gyfraith, eithr yn
farn-wr.
12 Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon
gadw a cholli, pwy ydwyt ti yr hwn wyt yn barnu ar
arall?
13 l Iddo yn awr, y rhai a ddywedwch, Heddyw neu l Diar. 27. 1
foru ni a awn i gyfryw ddinas, ac a arhoswn yno Luc 12, 18
flwyddyn: ac a farchnatawn, ac a enillwn.
14 m (Y rhai ni wyddoch beth a fydd y foru: canys m Diar. 27, 1
beth ydyw eich enioes chwi? tarth yn wir ydyw yr Luc 12, 20
hwn a ymddengys ychydig [amser] ac wedi hynny a
ddiflanna.
15 n Yn lle hyn a ddylech ei ddywedyd: Os yr Ar- n Rhuf. 1. 10
glwydd a'i mynn, ac os byddwn byw, ni a wnawn
hynny, neu hynny.)
16 o Eithr chwi yn awr ydych yn gorfoleddu yn eich o 1 Sam. 2. 3
gwag-fost: pob cyfryw orfoledd drwg yw.
17 Am hynny y neb a wyr wneuthur yn dda, ac ni's
gwnel, mewn pechod y mae.

## PEN. V.

*2 Bygwth y mae efe y cyfoethogion anwir, 7 Cynghori ammynedd, 12 A gochelud tyngu, 16 Bod iddynt gyfaddef eu beiau i'w gilydd, a gweddio tros eu gilydd.*

IDDO yn awr, chwi gyfoethogion wylwch, ac udwch
am eich trueni a ddel arnoch.
2 p Eich cyfoeth a bydrodd, a'ch gwiscoedd bwyd p Mat. 6. 20
pryfed ydynt.
3 q Eich aur a'ch arian a rydodd, a'u rhwd hwynt a q Rhuf. 2. 5
fydd tyst yn eich erbyn [chwi,] ac a yssa eich cnawd

fel tân: casglasoch dryssor yn y dyddiau diweddaf.
4 Wele, y mae cyflog y gweith-wyr y rhai a fedasant
eich meusydd (yr hwn a attaliasoch trwy dwyll) yn
llefain: a llef y rhai a fedasant, a ddaethant i glustiau
Arglwydd y lluoedd.
5 Moethus fuoch ar y ddaiar, a thrythyll, meithrin
eich calonnau a wnaethoch, megis mewn dydd lladd-
edigaeth.
r Sal. 10, 6 r Condemnasoch, a lladdasoch y cyfiawn yr hwn ni's
18 gwrthwynebodd chwi.
7 Am hynny fy mrodyr, byddwch ymarhous hyd ddy-
fodiad yr Arglwydd, wele, y llafur-wr a ddisgwil am
werth-fawr ffrwyth y ddaiar yn dda ei ammynedd am
dano nes caffel o honaw y glwaw cynnar a'r diweddar.
s Phil. 4, 5 8 s O blegit hynny byddwch chwithau hefyd yn dda
eich ammynedd, a chadarnhewch eich calonnau, canys
y mae dyfodiad yr Arglwydd yn nessau.
9 Na wnewch ddim tuchan yn erbyn eu gilydd fy-
mrodyr, fel na'ch condemner chwi: wele y mae y barn-
wr yn sefyll wrth y drws.
t Mat. 5, 10 t Cymmerwch yn siampl, fy-mrodyr, am oddef
12 blinder, ac am hir amynedd y prophwydi, y rhai a lef-
arasant yn enw 'r Arglwydd.
u 1 Cor. 2 11 u Wele, dedwydd yr ydym yn gadel y rhai a ym-
11 oddefant, chwi a glywsoch am ammynedd Iob, ac a
welsoch y diwedd a wnaeth yr Arglwydd? o blegit
tra-thosturiol yw 'r Arglwydd, a thrugarog.

12 v Eithr o flaen pob peth fy mrodyr, na thyngwch v Ecs. 20
nac i'r nef, nac i'r ddaiar, na llw arall: eithr bydded 7
eich ie, yn ie, a'ch nag-e, yn nag-e, rhag syrthio o
honoch mewn barn.
13 A oes neb yn eich plith mewn adfyd? gweddied:
a oes neb yn esmwyth arno? caned Psalmau.
14 w A oes neb yn eich plith yn glaf? galwed am w 2 Tim 2
henuriaid yr eglwys, a gweddiant hwy trosto, ac en- 20
einiant ef âg olew yn enw'r Arglwydd. Phil 2, 27
15 A gweddi'r ffydd a iacha'r claf, a'r Arglwydd a'i
cyfyd ef i fynu: ac o gwnaeth efe bechodau, hwy a
faddeuir iddo.
16 Cyfaddefwch eich beiau y naill i'r llall, a gweddi-
wch tros eu gilydd, fel eich iacheuir: canys llawer a
ddichon gweddi'r cyfiawn, os ffrwythlon fydd hi.
17 x Elias dyn ydoedd o'r un sut a ninneu, ac yn ei x Rhuf 8
weddi y gofynnodd na bydde law, ac ni bu law dair 26
blynedd a chwe-mis. Luc 11, 8
18 Ac efe a weddiodd trachefn, ac fe a roddes y nef
y glaw, ac fe a ddug y ddaiar ei ffrwyth.
19 y Fy mrodyr od aeth neb o honoch ar gyfeiliorn y Mat 13
oddi wrth y gwirionedd, a throi o ryw un ef, 15
20 Gwybydded efe am y neb a droes y pechadur
rhag myned ar gyfeiliorn oddi ar y ffordd, ei fod efe
yn cadw enaid rhag angeu, ac yn cyscodi lluosog-
rwydd o bechodau.

*Terfyn Epystol Iacob.*

---

# YR EPYSTOL CYNTAF CYFFREDINOL

I

# SANCT PETR.

## PENNOD I.

*2 Dangos y mae efe mai trwy aml drugaredd Duw i'n detholwyd, ac i'n adgenhedlwyd i obaith bywiol, 7 A'r modd y treir ffydd, 10 Nad yw 'r iechydwriaeth yng-Hrist beth newydd, eithr peth wedi ei brophwydo gynt. 13 Y mae efe yn eu hannog hwy i ymwreddiad duwiol yn gymmeint a'u geni hwy yn awr o newydd gan air Duw.*

PETR Apostol Iesu Grist, at y dieithriaid y rhai sy
ar wascar rhyd Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia,
a Bithinia,
a Rhuf 8 2 a Y rhai a ddetholwyd trwy ragwybodaeth Duw y
29 Tad i saucteiddrwydd yr Yspryd, trwy ufydd-dod a
Mat 13 thaenelliad gwaed Iesu Grist, gras i chwi a hedd-
23 wch a amlhauer.
b Tit 3, 5 3 b Bendigedic fyddo Duw a Thad ein Harglwydd
Iesu Grist, yr hwn o'i fawr drugaredd a'n ad-enillodd
ni i obaith bywiol, trwy ail-gyfodiad Iesu Grist oddi
c Dat 21 wrth y meirw,
27 4 c I gael etifeddiaeth ddiddiwedd, a dilwgr, a di-
ddiflanedig, yr hon a rodded i gadw yn y nef i chwi.
d Ioan 10 5 d Y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig trwy
28 ffydd i gael y diogelwch a ddarparwyd, i'w arddangos
Luc 19, 12 yn yr amser diweddaf:
e Act 20 6 e Yn yr hwn beth yr ydych yn llawenhau, cyd
24
a 21, 13

byddech ennyd bach (o bae raid) mewn tristwch, her-
wydd amryw brofedigaethau,
f Phil 3, 9 7 f Fel y caffer profiad eich ffydd chwi, yr hwn sydd
werthfawrusach na'r aur colladwy (cyd profer ef trwy
dân) er mawl, ac anrhydedd, a gogoniant i chwi pan
ymddangoso Iesu Grist:
8 Yr hwn heb ei weled yr ydych yn ei garu, yn yr
hwn, er nas gwelwch ef yr awr hon, yr ydych er hynny
yn credu, ac yn llawenhau â llawenydd anrhaethadwy
a gogoneddus:
9 Gan dderbyn terfyn eich ffydd [sef] iechydwriaeth
yr eneidiau.
10 g Am yr hon iechydwriaeth yr ymofynodd, ac y g Dan 9
chwiliodd y prophwydi, y rhai a brophwydasant am y 24
gras yr hwn a [ddeue] i chwi,
11 h Gan chwilio pa bryd, neu pa rywamser y bydde h Gen 49
i Yspryd Crist yr hwn oedd ynddynt hwy yn testiol- 10
aethu yn y blaen, yspysu y dioddefaint [a gaffe] Crist,
a'r gogoniant a'u cyd ganlyne hwynt.
12 I'r rhai y dangoswyd nad iddynt hwy, eithr i nyni
y gwasanaethe y pethau a fynegwyd i chwi, trwy y
rhai a bregethasant i chwi yr Efengyl trwy 'r Yspryd
Glân, yr hwn a ddanfoned o'r nefoedd, ac ar y rhai y
mae yr angelion yn chwennych cael edrych.

[i Luc 12 35] 13 i O blegit hyn gwregyswch lwynau eich meddwl: byddwch sobr: a gobeithiwch yn berffaith ar y gras a ddncpwyd attoch, trwy ymddangosiad Iesu Grist,

[j Rhuf 12 2 Gen 7, 1] 14 j Megis plant ufydd, y rhai ni chyd-ymgyffelybwch eich hunain â hen drachwantau eich anwybodaeth.

15 Eithr megis y mae y neb a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd ym mhob wreddiad,

[k Lef 11 44 a 19, 2] 16 k Am hynny yr scrifennir, Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyfi.

17 Ac os gelwch ef yn Dad, yr hwn heb dderbyn wyneb neb a farna ar ol gweithred pawb, ymddygwch tros amser eich preswylfod [ymma] mewn ofn,

18 Gan wybod nad â phethau llygredig [megis] arian neu aur i'ch prynwyd oddiwrth eich ofer ymwreddiad, yr hon a gawsoch o draddodiadau y tadau:

[l Act 20 28] 19 l Eithr â gwerthfawr waed Crist, megis oen difrycheulyd a dihalogedig.

[m Act 10 42 1 Tim 3 16] 20 m Yr hwn a ddarparwyd yn y blaen cyn gosod sylfaenau'r byd, eithr a yspyswyd yn yr amser diweddaf er eich mwyn chwi,

21 Y rhai ydych trwyddo ef yn credu i Dduw, yr hwn a'i cyfodes ef oddiwrth y meirw, ac a roddes iddo ef ogoniant, fel y bydde eich ffydd chwi a'ch gobaith ar Dduw.

22 A chwi wedi puro eich eneidiau gan ufyddhau i'r gwirionedd trwy'r Yspryd, mewn cariad brawdol diledrith, cerwch bawb ei gilydd â chalon bur yn rymus,

[n Iago 1 18] 23 n Chwi a aned o newydd, nid o had marwol, eithr anfarwol trwy air Duw, yr hwn sydd yn byw, ac yn parhau yn dragywydd.

24 Canys pob cnawd fel y glas-welltyn yw, a phob rhyfyg dyn fel blodeuyn y glas-wellt: gwywo a wna'r glaswellt, a'r blodeuu a syrth i lawr.

[o Ioan 3 6] 25 o Eithr gair yr Arglwydd a erys yn dragywydd, a hwn ydyw y gair a bregethwyd i chwi.

## PEN. II.

*Eu hannog y mae efe i roddi heibio bob camwedd, 4 Gan ddangos mai Crist yw'r sail y maent yn adailad arno. 9 Rhagorfraint y Cristianogion. 11 Y mae efe yn attolwg iddynt ymgadw oddiwrth chwantau cnawdol. 13 Ufuddhau i'r llywiawdwyr. 18 Y mae yn dangos pa fodd y dyle'r gwasanaeth-ddynion ymddwyn wrth eu perchen. 20 Gan annog i ddioddef yn-ol siampl Crist.*

OHERWYDD hyn rhoddwch heibio bob drygioni, a phob twyll, a phob rhagrith, a chenfigen, a phob enllibiad,

2 Fel rhai bychain newydd eni byddwch awyddus i ddidwyll laeth y gair, fel y galloch trwy hynny gynnyddu,

[p Ioan 10 4] 3 p Os profasoch chwi fod yr Arglwydd yn dirion,

4 At yr hwn yr ydych yn dyfod, megis at faen byw anghymmeradwy gan ddynion, eithr gan Dduw etholedig a gwerth-fawr.

[q Mat 16 18] 5 q A chwithau hefyd megis main bywiol, a adeiladwyd yn dŷ ysprydol, ac offeiriadaeth sanctaidd i offrymmu aberthau ysprydol cymmeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist.

[r Esa 28 16] 6 r Am hynny y cynhwysir yn yr scrythur: Wele, yr wyf yn rhoddi yn Sion sylfaen arbennic, etholedic, a gwerth-fawr: a'r neb a gredo ynddo nis gwradwyddir ef.

7 O blegit hyn i chwi y rhai ydych yn credu urddas yw: eithr i'r anufyddion y maen a wrthododd yr adeilad-wyr hwn a wnaed yn ben y gongl,

8 s Ac yn faen tramgwydd, a chraig rhwystr i'r rhai sy yn tramgwyddo wrth y gair gan anufyddhau, i'r hwn beth yr ordeiniwyd hwyntwy. [s Rhuf 11 33]

9 Eithr chwychwi genhedloedd etholedic ydych, brenhinol offeiriadaeth, pobl sydd yn briodoriaeth [i Dduw,] fel y gallech fynegu rhinweddau y neb a'ch galwodd o dywyllwch i'w ryfedd oleuni ef.

10 t Y rhai gynt nid oeddech bobl, yn nawr *ydych* bobl i Dduw: y rhai gynt nid oedd i chwi drugaredd, yr awr hon a gawsoch drugaredd. [t Hos 2, 23 Rhuf 9 25]

11 Fy anwylyd, yr wyf yn attolwg i chwi megis dieithriaid a phererinion, ymgedwch oddi wrth drachwantau'r cnawd, y rhai sy yn rhyfela yn erbyn yr enaid,

12 A bydded eich ymwreddiad yn honest ym mysc y cenhedloedd, fel y gallo y rhai sy yn eich goganu fel pe byddech ddrwg weithredwyr, o herwydd eich gweithredoedd da a welant, foliannu Duw yn y dydd yr ymweler ag hwynt.

13 u Ymddarostyngwch o blegit hyn i bob dynol ordinhad er mwyn yr Arglwydd, ac i'r brenin fel i'r Goruchaf, [u Act 5 29]

14 Ac i'r llywiawdwyr, fel i'r rhai trwyddo ef a ddanfonir, er dialedd i'r rhai drwg, ac er mawl i'r rhai da.

15 Canys felly y mae ewyllys Duw, fel y galloch trwy wneuthur yn dda ostegu anwybodaeth dynion ffolion.

16 v Megis yn rhyddion, ac nid fel rhai yn cymmeryd rhydd-did yn lle cochl malis, eithr fel gwasanaethwyr Duw. [v 1 Cor 7 22]

17 Perchwch bawb: cerwch gymdeithas brawdol, ofnwch Dduw: anrhydeddwch y brenin.

18 w Gweinidogion, ymostyngwch mewn pob ofn i'ch meistred, nid yn unic i'r rhai da cyweithas, eithr i'r rhai anghyweithas hefyd. [w Eph 6 5]

19 x Canys hyn sydd rasol, os o herwydd cydwybod i Dduw y bydd i neb ddwyn custydd, gan ddioddef yn ddiachos. [x Gen 39 20]

20 Oblegit pa glod yw, er bod yn dda eich ammynedd pan gernodier chwi am eich beiau? eithr pan wneloch dda, ac er hynny yn dda eich amynedd yn goddef, hyn sydd rasol ger bron Duw.

21 y Canys i hyn y galwyd chwi: o blegit Crist hefyd a ddioddefodd trosom ni, gan adel i ni siampl, fel y gallech chwi ganlyn ei ol ef. [y Mat 10 38]

22 Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau.

23 z Yr hwn pan ddirmygwyd ef, ni ddirmygodd eilwaith: pan ddioddefodd, ni fygythiodd, eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn. [z Mat 27 39]

24 Yr hwn ei hun a ddug ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren, fel y gallem ni wedi ein gwared oddi wrth bechod, fyw i gyfiawnder, trwy gleisiau yr hwn yr iachawyd chwi.

25 a Canys yr oeddech megis defaid yn myned ar gyfeiliorn, eithr yn awr chwi a droesoch at Fugail, ac Escob eich eneidiau. [a Esa 53 6 Ioan 10 11]

## PEN. III.

*Pa wedd y dyle fod ymwreddiad gwragedd i'w gwyr a'u gwiscad. 7 Dyled gwyr i'w gwragedd. 8 Y mae efe yn annog pawb i undeb a chariad. 14 Ac yn ymarhous i ddioddef adfyd, wrth siampl Crist.*

FEL b hynny hefyd, bydded y gwragedd ostyngedig iw gwyr priod, fel y galler os bydde rhai yn [b Gen 3 16]

anufydd i'r gair, trwy ymwreddiad y gwragedd eu
henbill hwynt heb y gair,
2 Pan welant eich ymwreddiad diwair, gyd ag ofn.
c 1Tim 2 3 c Trwsiad y rhai bydded nid oddi allan, megis o
9 blethiadau gwallt, ac amgylch osodiad aur, neu wisgad
dillad [gwychion,]
4 Eithr bydded dirgel ddyn y galon mewn anllygr-
edigaeth ysbryd addfwyn, a llonydd, yr hwn sydd ger
bron Duw yn werth-fawr.
d Deut 4 5 d Canys felly gynt yr ymdrwsie 'r gwragedd sanct-
38 a 38,7 aidd, y rhai oeddynt yn gobeithio ar Dduw, yn ddaros-
tyngedig i'w gwyr priod.
e Gen 18 6 e Megis yr ufyddhaodd Sara i Abraham, gan ei
12 alw ef yn arglwydd: merched yr hon fyddwch chwi,
Tit 1 16 e wneuthur yn dda, heb arnoch ofn dim dychryn.
f Gal 3, 7 f Chwithau y gwyr, cydgyfanneddwch ag hwynt fel
28 y gwedde i rai gwybodol, gan roddi anrhydedd i'r
wraig, megis i'r llestr gwannaf, fel rhai sy gyd-etifedd-
ion gras y bywyd, rhag rhwystro eich gweddiau
chwi.
8 Am ben hyn byddwch bawb o'r un meddwl yn
cydoddef pawb gyd a'u gilydd: carwch fel brodyr,
[byddwch] yn drugarog, [byddwch] yn fwynaidd,
g Mat 5 9 g Nid yn talu drwg am ddrwg, neu ddirmyg am
44 ddirmyg: eithr yng-wrthwyneb, bendithiwch, gan
wybod eich galw i hyn, sef i etifeddu y fendith.
10 Canys y neb a ewyllysio hoffi bywyd, a gweled
dyddiau da, attalied ei dafod oddi wrth ddrwg, a'i
wefusau rhag adrodd twyll.
11 Gocheled y drwg, a gwnaed y da: ceisied hedd-
wch, a dilyned ef.
12 Canys y mae llygaid yr Arglwydd ar y rhai cyf-
iawn, a'i glustiau ef tu ag at eu gweddi hwynt: ac y
mae wyneb yr Arglwydd yn erbyn y rhai a wnelo
ddrwg.
h Diar 16 13 h A phwy a'ch dryga chwi os byddwch yn dilyn
7 yr [hyn sydd] dda.
14 Eithr o bydd i chwi ddioddef o herwydd cyf-
iawnder, dedwydd ydych: ond am eu brawychiad
hwynt, nac ofnwch, ac na chynhyrfwch rhag eu hofn
hwynt.
i Rhuf 4 15 i Eithr sancteiddiwch yr Arglwydd Dduw yn eich
20 calonnau: a byddwch barod bob amser i atteb i bawb
a ofynno i chwi reswm am y gobaith sydd ynoch,
16 A hynny trwy fwyneidd-dra, a pharch, a chen-
nych gydwybod dda, fel yn y peth yr enllibiant chwi
megis drwg-weithredwyr, y cywilyddio y rhai ydynt
yn beio ar eich ymwreddiad da chwi yng-Hrist.
17 Canys gwell ydyw (os ewyllys Duw a'i mynn) i
chwi ddioddef yn gwneuthur daioni, nag yn gwneuth-
ur drygioni.
j Rhuf 5 18 j Gan i Grist hefyd un-waith ddioddef tros bech-
6 odau, y cyfiawn tros yr ang-hyfiawn, fel y galle ein
dwyn ni at Dduw, yr hwn hefyd a laddwyd yn y
cnawd, eithr a fywhawyd yn yr Ysbryd.
k 1Pedr 2 19 k Trwy 'r hwn yr aeth efe, ac a bregethodd i'r
5 ysprydion yng-harchar,
Gen 6, 3 20 l Y rhai oeddynt gynt yn anufyddion, pan unwaith
l Gen 6. 3 yr oedd hir ammynedd Duw yn disgwil yn nyddiau
Mat 24 Noe, pan ddarperit yr Arch: yn yr hon ychydigion,
38 sef, wyth enaid a achubwyd yn y dwfr.
21 I'r hwn y mae 'r siampl yr hwn sydd yn awr yn
ein hachub ni, sef y bedydd, yn atteb (nid trwy yr hwn
y tynnir i ffordd fudreddi yr corph, eithr trwy 'r hwn
y gwna cydwybod dda ymofyn â Duw) trwy gyfoded-
igaeth Iesu Grist,
22 Yr hwn sydd ar ddeheu-law Dduw, wedi myned
i'r nef, a'r angelion a'r awdurdodau, a'r galluoedd
wedi ymddarostwng iddo ef.

## PEN. IV.

*Cynghor i ymado â phechod, ac na threuliom mwy o amser mewn camwedd. 7 I fod yn sobr, ac yn hywaith i weddio, 8 I garu eu gilydd, 12 I ddioddef trallod, 15 I ymogelyd rhag bod i neb ddioddef fel drwg-ddyn, 16 Eithr fel Cristion.*

AM m hynny gan ddioddef o Grist trosom ni yn y m Eph 6
cnawd, chwithau hefyd arfogwch eich hunain 11
â'r un rhyw feddwl, sef peidio o hwn a ddioddefodd
yn y cnawd â phechod,
2 n Fel na byddo iddo o hyn allan (tros yr hyn sydd n Eph 4
yng-weddill o'r amser y cnawd) fyw ar ol trachwant- 17
au dynnion, eithr ar ol ewyllys Duw,
3 Canys digon yw i ni dreulio o honom yr amser a
aeth heibio o'r einioes, ar ol trachwant y cenhedloedd,
gan rodio mewn trythyllwch, trachwantau, meddw-
dod, glothineb, ymyfed, a ffiaidd eulun-addoliad.
4 O achos pa ham y mae yn ddieithr ganddynt, na
byddech yn cyd-redeg gyd â hwynt, i'r un rhyw or-
mod rhysedd, gan [eich] goganu chwi.
5 o Y rhai y bydd rhaid iddynt roddi cyfrif i'r neb o Preg 12
sydd barod i farnu y byw a'r meirw. 14
6 p Canys er mwyn hynny y pregethwyd yr Efeng- p Pen 3
yl i'r meirw hefyd, fel y condemnid hwynt, o rann 19
dynion yn y cnawd, eithr y gallent fyw o rann Duw
yn yr yspryd.
7 q Diwedd pob peth sydd yn nesau: am hynny bydd- q 2Pedr 3
wch sobr, a gwiliadwrus i weddio. 3, 7, 9
8 Ym mlaen pob peth bydded cariad twymn yn eich
plith: canys cariad a guddia liaws o bechodau.
9 r Byddwch letteugar bawb i'w gilydd yn ddirwg- r 2 Cor 9
nach. 7
10 Pawb megis ac y cafodd rodd bydded iddo gyf-
rannau â'u gilydd, fel daionus orchwylwyr amryw
ras Duw.
11 s Os dywed neb, [dyweded] megis gair Duw, os s 1Cor 14
gweini a wna neb, [gwnaed] hynny megis o'r gallu y 31
mae Duw yn ei roddi, fel y molianner Duw ym mhob 2Cor 2 14
peth trwy Iesu Grist, i'r hwn y mae gogoniant, ac ar-
glwyddiaeth yn oes oesoedd. Amen.
12 Oh rai annwyl, na fydded dieithr gennwch y
prawf sydd arnoch trwy dân, yr hwn a wneir er pro-
fedigaeth i chwi, fel pe digwydde iwch ryw beth
dieithr:
13 t Eithr llawenhewch, gan eich bod chwi yn gyf- t Rhuf 8
rannog o ddioddefaint Crist, fel y galloch pan eglurer 17
ei ogoniant ef, fod yn llawen, ac yn hyfryd.
14 u Os dirmygir chwi er mwyn enw Crist, dedwydd u Dan 7
ydych, canys Yspryd y gogoniant, ac Yspryd Duw a 14
orphywys arnoch: yr hwn ar eu rhan hwynt a geblir
ac ar eich rhan chwi a folieннir.
15 Eithr na fydded i neb o honoch oddef, fel llof-
rudd, neu leidr, neu drwy ddrwg-weithredwr, neu fel
un a fyddo yn ymyrryd â matterion rhai eraill:
16 v Eithr os fel Cristion, na fydded gywilydd gan- v Pen 5
ddo, eithr molianned Dduw yn hynny o ran. 14
17 w Canys yr amser a ddaeth y bydd rhaid i'r farn w Esa 10
ddechreu ar dŷ Dduw: ac os ydyw yn gyntaf yn 11
dechreu arnom ni, pa ryw ddiwedd a [fydd] i'r rhai ni Luc 23,
chredant Efengyl Dduw? 31
18 Ac os prin y bydd y cyfiawn gadwedig, pa le yr

ymddengys yr anwir a'r pechadur?
19 Ac am hynny y rhai sy yn goddef ar ol ewyllys
Duw, ymroant eu heneidiau trwy wneuthur yn dda,
megis i'r creawdydd ffyddlon.

PEN. V.

*1 Dyled y bugelydd eglwysic yw porthi defaid Crist, a pha obr a gânt os gwnant hynny yn ddiwyd. 5 Cynghori y mae y rhai ieuaingc i ymddarostwng i'r henafiaid. 8 Bod yn sobr, a gwilied i allu o honynt wrth-ladd y gelyn.*

x Rhuf 8 24 YR x henaduriaid y rhai sy yn eich plith, yr attol-
ygaf finne yr hwn [wyf] hefyd henadur a thyst
dioddefiadau Crist, a chyfrannog hefyd o'r gogoniant
a eglurir rhag llaw,
2 y Porthwch braidd Duw yr hwn sydd tann eich
y Ioan 21 15 llaw, ac ymgeleddwch hwynt nid trwy gymmell,
eithr yn ewyllysgar, nid er chwant budr-elw, eithr o
barodrwydd meddwl:
3 Nid fel rhai a fynnant fod yn arglwyddi ar etif-
eddiaeth [Dduw,] eithr fel y galloch fod yn siampl i'r
praidd.
4 A phan ymddangoso y Pen bugail, cewch anllygr-
adwy goron y gogoniant.
z Phil 2,3 5 z Yr un ffunyd yr ieuaingc byddwch ostyngedig i'r
Pen 3, 4 henuriaid a chyd-ymostyngwch bawb i'w gilydd: ac
ymdrwsiwch oddifewn ag ufydd-dra meddwl, canys
Duw a wrthladd y beilchion, ac a rydd ras i'r rhai
ufydd.
6 a Ymostyngwch o achos hyn tann alluog law Duw, a Sal 39,9
fel y gallo eich derchafu pan ddel amser.
7 Bwriwch gwbl o'ch gofal arno ef: canys y mae
efe yn gofalu trosoch,
8 Byddwch sobr, a gwiliwch, canys eich gwrthwyn-
eb-wr diafol sydd megis llew rhuadwy yn rhodio oddi
amgylch, gan geisio y neb a allo ei lyngcu.
9 b Yr hwn gwrthwynebwch yn gadarn yn y ffydd, b Eph 6
gan wybod fod yn cyflawni yr un rhyw ddioddefaint 11
yn eich brodyr, y rhai ydynt yn y byd.
10 A Duw [awdur] pob gras, yr hwn a'n galwodd ni
i'w dragywyddol ogoniant trwy Iesu Grist, wedi i
chwi oddef ychydig, a'ch cryfhao, ac a'ch siccrhao.
11 Iddo ef y byddo gogoniant ac emerodraeth yn
oes oesoedd. Amen.
12 c Gyd â Sylfanus brawd ffyddlon i chwi, i'm tyb c Act 15
i, yr scrifennais ar ychydig, gan eich cynghori, a thes- 16
tiolaethu, mai gwir ras Duw ydyw hwn yr ydych yn
sefyll ynddo.
13 d Y mae 'r [eglwys] yr hon sydd yn Babylon yn d Sal 87,4
gyd-etholedig â chwi yn eich annerch a Marcus fy Phil 4,22
mab i.
14 Annerchwch bawb eu gilydd â chusan cariad,
tangneddyf i chwi oll y rhai ydych yng-Hrist Iesu.
Amen.

---

# YR AIL EPISTOL CYFFREDINOL

## O EIDDO

# PETR APOSTOL.

PENNOD I.

*Yn gymmaint a darfod i feddiant Duw roddi iddynt bob peth yn perthyn i fuchedd, y mae efe yn eu hannog i ffoi rhag llygredigaeth chwantau y byd. 10 Ac i wneuthur eu galwedigaeth yn ddiogel trwy weithredoedd da, a ffrwythau ffydd. 14 Y mae efe yn coffau am ei farwolaeth ei hun, 17 Gan ysbysu bod yr Arglwydd Iesu Grist yn wir Fab Duw, megis ac y gwelse efe ei hun ar y mynydd.*

e Rhuf 1 16 SYMON Petr e gwasanaethwr, ac Apostl Iesu
Grist, i'r rhai a freiniasant gyffelyb werthfawr
ffydd a ninnau, trwy gyfiawnder ein Duw a'n Achub-
wr Iesu Grist.
2 Gras i chwi, a thangneddyf a amlhaer, trwy adnab-
yddiaeth Duw, ac Iesu ein Harglwydd,
f Rhuf 8 32 3 f Megis y rhoddes ei dduwiol allu ef i ni bob peth
a berthynant i fywyd, a duwioldeb, trwy ei adnabydd-
iaeth ef yr hwn a'n galwodd ni i ogoniant a rhinwedd.
g Eph 4 4 g Gan hyn, [sef] rhoddi i ni addewidion rhagor-
fawr [a] gwerth fawr, fel y gallech trwy y rhai hynny
fod yn gyfrannogion o dduwiol anian, wedi diangc
o'r llwgr yr hwn sydd yn y byd trwy drachwant.
5 Ac am hyn rhoddwch gwbl o'ch diwydrwydd, cys-
sylltwch yng-hyd â'ch ffydd rinwedd, ac yng-hyd â
rhinwedd gwybodaeth:
6 h Ac yng-hyd â gwybodaeth, gymmedrolder, ac
yng-hyd â chymmedrolder, ammynedd, ac yng-hyd
âg ammynedd duwioldeb,
7 Ac yng-hyd â duwioldeb, caredigrwydd brawdol: h Ioan 17 3
ac yng-hyd â charedigrwydd brawdol, cariad. Rhuf 13
8 Canys os byddwch a'r pethau hyn cennych, ac 3
yn aml hwynt, peri a wnant na boch na segur na di-
ffrwyth yng-wybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist.
9 i O blegit y neb ni byddo y rhai hyn ganddo, dall i Mat. 15
ydyw, ac ni wel ddim o bell, yn gollwng tros gof ei 14
lanhau o'i hen bechodau.
10 j Am hynny, fy-mrodyr byddwch yn fwy diwyd j 1Tim. 2
i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn 19
siccr: canys o gwnewch chwi hyn ni lithrwch chwi
byth.
11 Canys felly trefnir i chwi fforddiad yn helaeth i
dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Achubwr
Iesu Grist.
12 k Am hynny nid esceulusafi eich coffhau chwi k Act. 20
byth am y pethau hyn, er eich bod chwi yn gyfar- 26
wydd, ac yn siccr yn y gwirionedd presennol.
13 Canys yr ydwyf yn tybied fod yn iawn i mi, tra
fyddwyf yn y tabernacl hwn, eich cyffroi gan ddwyn
ar gôf i chwi,
14 l Gan wybod fod yn gyfagos yr amser y rhoddaf l 2Tim. 4
heibio y tybernacl hwn, megis ac y dangoses ein Har- 6
glwydd Iesu Grist i mi. Ioan 21
15 Diwyd fyddaf hefyd ar allu o honoch wneuthur 18
coffa am y pethau hyn, wedi fy ymadawiad i.

m 1 Tim. 1, 4 16 m Canys nid chwedlau dichellgar a ganlynhasom
ni, pan oeddem yn mynegi i chwi rinwedd, a dyfod-
iad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr â'n llygaid y
gwelsom ei fawredd ef:
n Ioan 5, 26; Phil. 2, 9 17 n Canys efe a dderbyniase gan Dduw Tâd, an-
rhydedd a gogoniant, pan ddaeth cyfryw lêf atto oddi
wrth y dirfawr ogoniant, Hwn yw'r annwyl Fâb mufi,
yn yr hwn i'm boddlonir.
18 A'r llef hon a glywsom ni pan ddaeth o'r nêf, a
ni gyd ag ef yn y mynydd sanctaidd.
19 Yr ydym ni hefyd â gair cadarnaf y prophwydi
gennym, i'r hwn da y gweithiwch, o ddarbod am dano,
megis am oleuni yn llewyrchu mewn lle tywyll, hyd
oni wawrio'r dydd, ac oni chodo'r seren-ddydd yn
eich calonnau.
20 Os gwybyddwch chwi hynny yn gyntaf, nad oes
un brophwydoliaeth yn yr Scrythur o briod awenydd
[dyn.]
21 Canys nid trwy ewyllys dyn y daeth gynt bro-
phwydoliaeth: eithr dynnion sanctaidd Duw a ddy-
wedasant megis y cynhyrfwyd gan yr Yspryd Glân.

## PEN. II.

*Prophwydo y mae efe o ddyscawd-wyr gauog, a dangos eu poenedigaeth hwy.*

o 1 Bren 22, 19; Jer. 14, 14 EITHR o bu gau brophwydi ym mhlith y bobl, fel
y bydd yn eich plith chwithau athrawon ffeilsion
y rhai yn ddirgel a ddygant i mewn heresioedd dinis-
triol, a [hynny] gan wadu yr Arglwydd yr hwn a'u
prynodd hwynt, a chan dynnu arnynt eu hunain
ebrwydd ddinistr.
p Dat. 13, 3 a 17, 2 2 p A llawer a ganlynant eu destruw hwynt, trwy'r
rhai y ceblir ffordd y gwirionedd.
q Rhuf. 16, 18; Ezec. 13, 19 3 q A thrwy gribddeiliaeth wrth eiriau dychymygus
y marchnattant chwi, barnedigaeth y rhai er ystalm
nid yw yn segur, a'u colledigaeth hwy nid yw yn cyscu.
4 Canys onid arbedodd Duw'r angelion, y rhai a
bechasent, eithr eu taflu i wared i uffern, a'u rhoddi
mewn cadwynau tywyllwch, iw cadw i ddamnedig-
aeth:
r Gen. 7, 13; 1 Pedr. 3, 20 5 r Ac nid arbedodd yr hên fŷd, eithr Noe yr wyth-
fed, pregeth-wr cyfiawnder, a waredodd efe, ac a
ddug y diluw ar fŷd yr anwiriaid.
s Gen. 19, 6 6 Ac a droes ddinasoedd Sodoma a Gomorha yn
lludw, a'u dymchwelodd, ac a'u cyfrgollodd hwynt,
ac a'u gwnaeth hwynt yn siampl i'r rhai rhag-llaw a
fucheddent yn annuwiol,
7 Ac a achubodd Lot gyfiawn yr hwn oedd mewn
gofid trwy aniwair ymwreddiad yr anwiriaid.
t Gen. 13, 13 8 t(Canys ag efe yn gyfiawn, ac yn trigo yn eu
mysc hwynt, yn gweled, ac yn clywed, ydoedd yn
poeni ei enaid cyfiawn o ddydd i ddydd, trwy eu ang-
hyfreithlon weithredoedd hwynt.)
u 1 Cor. 10, 13 9 u Yr Arglwydd a fedr achub y gwirioniaid oddi
wrth brofedigaeth, a chadw y rhai ang-hyfiawn i ddydd
y farn i'w poeni.
v Luc 19, 14 10 v Ac yn bennaf y rhai sy yn rhodio ar ol y cnawd,
mewn trachwant aflan, ac yn diystyru awdurdod, ac
hwynt yn rhyfygus, ac yn gyndyn, nid ydynt yn ar-
swydo cablu y rhai anrhydeddus.
w Judas 9 11 w Lle nid yw yr angelion y rhai sy fwy mewn
cadernid a gallu, yn rhoddi dirmygus farn yn eu her-
byn hwynt ger bron yr Arglwydd.
12 Eithr y rhai hyn megis anifeiliaid, anrhesymmol
anianol, y rhai a wnaed i'w dal a'u difetha, yn cablu y
pethau ni wyddant oddi wrthynt, a ddifethir trwy eu
llygredigaeth eu hunain.
13 x Y rhai a dderbyniant gyflog anghyfiawnder fel x Dat. 19, 20
y rhai sy yn cyfrif yn lle gwynfyd gael byw mewn
moethe tros amser: brychau ydynt, a tharysclynau,
yn ymddigrifo yn eu twyll, gan gyd-wledda gyd a
chwi,
14 y A llygaid ganddynt yn llawn godineb ni's gall- y Mat. 5, 28
ant chwaith beidio a phechod, yn abwydo eneidiau an- 2 Tim. 3, 6
wadal, a chanddynt galon wedi ymgynnefino a chu-
bydd-dra, plant y felldith,
15 z Y rhai wedi ymadael a'r ffordd iawn, a aethant z Judas 11
ar gyrwydr, gan ganlyn ffordd Baalam [mab] Bozor,
yr hwn a garodd obr anghyfiawnder.
16 a Eithr ef a geryddwyd am ei gamwedd, canys a Jos. 13, 22
assyn fud arferol a'r iau gan ddywedyd a llef ddynol, Num. 23, 23
a waharddodd ynfydrwydd y prophwyd.
17 Y rhai hyn, ffynhonau ydynt heb ddwfr, niwlen-
nau a chwnle'r dymestl, i ba rai y mae niwl tywyllwch
yng-hadw yn dragywydd.
18 b Canys gan ddywedyd chwyddedig eiriau gor- b Judas 16
wagedd trwy drachwantau a thrythyllwch y cnawd,
y maent yn abwydo y rhai a ymdroesent mewn cyr-
wydr,
19 c Gan addo iddynt rydd-did, ac hwynt eu hunain c 1 Pedr 2, 16
yn wasanaeth-wyr llwgr: canys gan bwy bynnag y Rhuf. 6, 18
gorchfyger neb, efe a aeth yn wr caeth i hwnnw.
20 d O blegit os wedi eu diangc oddi wrth halogedig- d Mat. 13, 19, 20
rwydd y byd, trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r
Achubwr Iesu Grist, y ceffir hwynt eil-waith wedi ym-
rwystro a'r un pethau, ac wedi eu gorchfygu, diwedd
y rhai hynny a aeth yn waeth na'u dechreuad:
21 e Canys gwell fuase iddynt na wybassent ffordd e Mat. 26
cyfiawnder, nag wedi ei gwybod, cilio oddi wrth y 24
gorchymyn sanctaidd a roddwyd iddynt. a 12, 45
22 f Eithr iddynt hwy y digwydd yr hyn [a ddywed] f Diar. 26
y wir ddihareb, Y ci a ymchwelodd at ei chwdiad ei 11
hun, a'r hwch wedi ei golchi i'w ymdreiglfa yn y dom.

## PEN. III.

*Y mae efe yn dangos scelerder y rhai sy yn gwatwar addewidion Duw. 7 A'r modd y diweddir y byd. 16 A phwy sydd yn cam arfer yr scrythurau. 18 Gan roddi mawr ddiolch i Grist.*

YR ail epistol hwn yr ydwyf yn awr yn ei scrifen-
nu attoch fy annwylyd, yn yr hwn yr ydwyf yn
dadebru eich meddwl puraidd trwy adgoffau [i chwi,]
2 Fel y byddo cofus gennych y geiriau a ragddy-
wedodd y prophwydi sanctaidd, a'n gorchymyn nin-
nau y rhai ydym Apostolion yr Arglwydd a'n Ach-
ubwr.
3 g Yn gyntaf dehellwch hyn, y daw yn y dyddiau g Judas 18
diweddaf watwar-wyr, y rhai a rodiant ar ol eu tra-
chwantau eu hunain,
4 h Ac a ddywedant, Pa le y mae addewid ei ddyfod- h Act. 1, 11
iad ef? canys er pan fu farw y tadau pob peth sydd
yn parhau yn yr un modd, o ddechreuad y creadur-
iaeth.
5 Canys hyn o'u bodd ni's gwyddant, fod y nefoedd
er ystalm byd trwy air Duw, a'r ddaiar hefyd sydd
o'r dwfr, ac yn y dwfr.
6 i O herwydd pa ham y byd yr hwn a ydoedd y i Gen. 7, 22
pryd hynny a gollwyd trwy ddwfr diluw.
7 j Eithr y nefoedd a'r ddaiar sy yr awr hon, trwy j Sal. 50, 3
yr un gair a roddwyd i gadw i dân erbyn dydd farn, k Sal. 90, 4
a destruw yr anwir ddynion.
8 k Fy annwylyd, na fydded yr un peth hyn yn ddir-

gel i chwi: fod un dydd gyd â'r Arglwydd megis mil
o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd megis un dydd.
l Rhuf. 2 4 9 l Nid ydyw 'r Arglwydd yn oedi ei addewid
(megis y tybia rhai am oed,) eithr ymarhous ydyw efe
tu ag attom ni, ac ni fynn efe fod neb yn golledig,
ond dyfod o bawb i edifeirwch.
m Sal. 102 26 10 m Eithr dydd yr Arglwydd a ddaw megis lleidr y
nos, yn yr hwn y nefoedd a ânt heibio mewn trwst,
a'r defnyddiau yn wir o wres a doddant, a'r ddaiar a'r
gwaith a fyddo ynddi a loscir.
11 A chan fod yn rhaid i hyn eu gyd ymollwng, pa
ryw fath ddynion a ddylech chwi fod mewn sanctaidd
ymwreddiad a duwioldeb?
n Luc 12 43 12 n Yn disgwil, ac yn bryssio at ddyfodiad dydd
Duw, yn yr hwn y llysc y nefoedd, ac yr ymollwng:
a'r defnyddiau gan wres a doddant.
o Dat 21, 1 13 o Eithr yr ydym ni yn disgwil am nefoedd new-
ydd, a daiar newydd, ar ol ei addewid ef, yn y rhai y
cyfannedda cyfiawnder.
14 Am hynny fy annwylyd, gan eich bod yn gwil-
ied am gyfryw bethau, rhoddwch eich bryd ar allu o
honaw ef eich cael yn ddifrychau, ac yn ddilwgr
mewn tangnheddyf.
15 p Ac am hir ammynedd ein Harglwydd, cyfrif- p Heb. 6 8
wch mal iechyd yw, megis yr scrifennodd ein caredic a 10, 26, 37
frawd Paul attoch chwi yn ol y doethineb a rodded
iddo ef.
16 Megis yr hwn sydd yn son ym mhob epistol am
y fath hyn: ym mysc y rhai y mae rhyw bethau an-
hawdd eu deall, y rhai a wyra y saul sydd annysced-
ig, ac anwadal, fel yr scrythurau eraill er destruw
iddynt eu hunain.
17 Chwy-chwi am hynny fy annwylyd, gan eich bod
yn gwybod y pethau hyn ym mlaen llaw, gochelwch
rhag eich tynnu chwithau hefyd ar grwydr yr anwir-
iaid, a chwympo oddi wrth eich sicrwydd eich
hunain.
18 q Eithr cynnyddwch mewn gras, ac adnabydd- q Eph. 4 13
iaeth ein Harglwydd a'n Ceidwad Iesu Grist: i'r hwn
y byddo gogoniant yr awr hon, ac yn dragywyddol
byth. Amen.

---

# YR EPISTOL CYNTAF CYFFREDINOL

I

# IOAN APOSTOL.

## PENNOD I.

*2 Testiolaeth wir am dragywyddol air Duw. 7 Bod gwaed Crist yn glanhau oddiwrth bechod. 10 Ac nad oes neb heb pechod.*

r Ioan 1 1 YR r hyn oedd o'r dechreuad, yr hyn a glywsom,
Ioan 1, 4 yr hyn a welsom â'n llygaid, yr hyn a edrych-
a 14, 6 asom arno, ac a deimlodd ein dwylo o air y bywyd,
s 1 Tim. 3 16 2 s (Canys y bywyd a ymddangosodd, a gwelsom,
Ioan 1, 14 ac yr ydym yn testiolaethu, ac yn dangos i chwi y
bywyd tragywyddol, yr hwn oedd gyd â'r Tad, ac a
ymddangosodd i ni,)
3 t Yr hyn [meddaf] a welsom, ac a glywsom yr yd-
t Ioan 17 21 ym yn ei fynegu i chwi, fel y byddo i chwithau hefyd
gymdeithas gyd â ni, ac fel y byddo ein cymdeithas ni
hefyd gyd â'r Tad a'i Fab Iesu Grist.
4 A'r pethau hyn yr ydym yn eu scrifennu attoch
fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn.
5 Hyn yw 'r genadwri a glywsom ganddo ef, ac yr
ydym yn ei adrodd i chwi, mai goleuni yw Duw, ac
nad oes ynddo ddim tywyllwch.
6 Os dywedwn fod i ni gymdeithas âg ef, a rhodio
yn y tywyllwch, celwyddog ydym, ac nid ydym ar y
gwir.
7 Eithr os rhodiwn yn y goleuni, megis y mae efe yn
y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'i gilydd, a gwaed
Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau oddi wrth
bob pechod.
u Ioan 8 46 8 u Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn
ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom.
v Diar. 28 13 9 v Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe,
a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac ein
glanhao ni oddi wrth bob anwiredd.
10 Os dywedwn na phechasom, yr ydym yn ei
wneuthur ef yn gelwyddog, a'i air nid yw ynom.

## PEN. II.

*Y mae yn dangos fod Crist yn eiriolwr trosom ni, 10 Fod yn rhaid i ni ddilyn cariad perffaith, 18 A gochelyd rhag ang-hrist.*

FY w mhlant bychain, y pethau hyn yr wyf yn eu w Tit. 2 11
scrifennu attoch, fel na phechoch: ac o phecha Heb. 9, 24
neb y mae i ni eiriolwr gyd â'r Tad, Iesu Grist y cyf-
iawn.
2 x Ac efe yw 'r iawn tros ein pechodau: ac nid tros x Rhuf. 3 25
yr eiddom ni yn unic, eithr tros bechodau yr holl fyd.
3 Ac wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os
cadwn ni ei orchymynnion ef.
4 Yr hwn a ddywed, Mi a'i hadwen ef, ac ni cheidw
ei orchymynnion, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid
yw ynddo.
5 y Eithr yr hwn a geidw ei air ef, yn wir yn hwnnw y Pen. 4 12
y mae cariad Duw yn berffaith: wrth hyn y gwydd- 1 Cor. 13, 9
om ein bod ynddo ef.
6 Yr hwn a ddywed ei fod yn aros ynddo ef, a ddyle
felly rodio megis y rhodiodd yntef.
7 z Frodyr, nid wyf yn scrifennu gorchymyn new- z Lef. 19 17
ydd attoch, eithr gorchymyn hen yr hwn a fu i chwi Ioan 15, 18
o'r dechreuad: yr hen orchymyn yw'r gair, yr hwn a
glywsoch o'r dechreuad.
8 Trachefn gorchymyn newydd yr wyf yn ei scrif-
ennu attoch, yr hwn sydd wir ynddo ef, ac ynoch
chwithau [hefyd:] canys y tywyllwch a aeth heibio,
a'r gwir oleuni sydd yr awr hon yn tywynnu.

a Pen. 3 9 [a] Yr hwn a ddywed ei fod yn y goleuni, ac yn cas-
13 Lef.19,17 au ei frawd, yn y tywyllwch y mae hyd y pryd hyn.
10 Yr hwn a gâr ei frawd sydd yn aros yn y goleuni,
ac nid oes rhwystr ynddo.
b Ioan.12 35 11 [b] Eithr hwn a gasâo ei frawd, yn y tywyllwch y
mae, ac yn y tywyllwch y mae yn rhodio, ac ni ŵyr
i ba le y mae yn myned, am ddarfod i'r tywyllwch
ddallu ei lygaid.
12 Ha blant bychain, yr wyf yn scrifennu attoch o
blegit maddeu i chwi eich pechodau er mwyn ei
enw ef.
c 1 Cor. 14 20 13 Scrifennu yr wyf attoch dadau, am i chwi ad-
Ioan 1,3 nabod yr hwn sydd o'r dechreuad, scrifennu yr wyf
attoch chwi wŷr ieuaingc, am ddarfod i chwi orch-
fygu y drwg.
d Mat. 13 19 14 [d] Scrifennu yr wyf attoch chwi y rhai bychain am
i chwi adnabod y Tad, scrifennais attoch chwi dadau,
gan i chwi adnabod yr hwn sydd o'r dechreuad: scri-
fennais attoch chwi wŷr ieuaingc am eich bod yn
gedyrn, a bod gair Duw yn aros ynoch, a gorchfygu
o honoch y drwg.
15 Na cherwch y byd na'r pethau sy yn y byd, o
châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef.
e Rhuf.13 14 16 [e] Canys beth bynnag sydd yn y byd [megis]
chwant y cnawd, a chwant y llygaid, a balchder y
bywyd, nid yw o'r Tad, eithr o'r byd y mae.
17 A'r byd a'i chwant sydd yn myned heibio, a'r
hwn a wna ewyllys Duw a erys yn dragywydd.
18 Ha blant bychain yr amser diweddaf ydyw, a
megis y clywsoch y daw anghrist, felly yr awr hon y
mae anghristiau lawer: wrth yr hyn y gwyddom mai'r
amser diweddaf ydyw.
f Mat. 7 16 19 [f] Oddi wrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid
1 Cor. 11 19 oeddent o honom ni: canys pe buasent o honom ni,
arhosasent gyd a ni, eithr [hyn a ddarfu] fel yr eglur-
id nad ydynt oll o honom ni.
20 Eithr y mae i chwi ennaint oddi wrth yr hwn
[sydd] sanctaidd, a [chwi] a ŵyddoch bob peth.
g Mat. 13 11 21 [g] Nid scrifennais attoch, o blegit na ŵyddoch y
gwirionedd: eithr am i chwi ei wybod, ac am nad oes
dim celwydd o'r gwirionedd.
22 Pwy yw'r celwyddog, onid yr hwn a wado, mai
Iesu yw'r Crist? hwn yw'r anghrist yr hwn a wâd y
Tad a'r Mab.
23 Pwy bynnac a wado y Mab, nid yw y Tad gan
hwnnw ychwaith.
h Pen. 1, 3. 24 [h] Arhosed gan hynny ynoch chwi yr hyn a glyw-
soch o'r dechreuad: od erys ynoch yr hyn a glywsoch
o'r dechreuad, chwithau hefyd a arhoswch yn y Mab,
ac yn y Tad.
25 A hwn yw'r addewid, a addawodd efe i ni, [sef]
bywyd tragywyddol.
26 Y pethau hyn a scrifennais attoch o herwydd y
rhai sy i'ch twyllo.
i Rhuf. 8 16 27 [i] Eithr yr ennaint a dderbyniasoch ganddo ef sydd
yn aros ynoch, ac nid rhaid i chwi fod neb i'ch dyscu,
ond fel eich dysco yr ennaint hwnnw am bob peth: ac
y mae yn gywir, ac nid yw yn gelwyddog, ac megis
eich dyscodd yr arhoswch ynddo.
j 1 Thes. 4 16 28 [j] Ac yr awr hon blant bychain arhoswch ynddo,
fel pan ymddangoso efe, y byddo hyder genym, ac na
chywilyddiom ger ei fron ef, yn ei ddyfodiad.
29 Os gwyddoch ei fod ef yn gyfiawn, gwybyddwch
mai pwy bynnag a wna gyfiawnder a anod o hon-
aw ef.

## PEN. III.

*4 Dirfawr gariad Duw arnom. 7 A pha fodd y dylem ninnau garu eu gilydd.*

GWELWCH [k] pa gariad a roes y Tad arnom, fel k Col.3,3 Ioan 15,21
i'n gelwid yn feibion Duw: o blegit hyn nid ed-
wyn y byd chwi gan nad adnabu efe ef.
2 Oh anwylyd yr awr hon yr ydym yn feibion Duw,
eithr nid ymddangosodd etto pa beth a fyddwn, eithr
gwyddom pan ymddangoso, y byddwn gyffelyb iddo
ef: canys gwelwn ef megis ag y mae.
3 A phob un sydd ganddo y gobaith hyn ynddo, a'i
purha ei hun, megis y mae yntef yn bur.
4 Pwy bynnac a wna bechod, y mae efe hefyd yn
gwneuthur anghyfraith: canys anghyfraith yw pechod.
5 A gŵyddoch ymddangos o honaw ef er deleu ein
pechodau ni, ac ynddo [ef] nid oes pechod.
6 Pwy bynnag sydd yn aros ynddo [ef] ni phecha:
pwy bynnag a becha ni welodd [ddim] o honaw ef, ac
ni's adnabu ef.
7 Oh blant bychain na thwylled neb chwi: yr hwn
sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn, megis y
mae yntef yn gyfiawn.
8 [l] Yr hwn a wna bechod o ddiafol y mae, canys y l Col.2,15
mae diafol yn pechu o'r dechreu: er [mwyn] hyn yr
ymddangosodd Mab Duw fel y datode weithredoedd
diafol.
9 [m] Pob un a aned o Dduw ni phecha: canys ei had m 1 Pedr
ef sydd yn aros ynddo, ac ni all efe bechu, am ei eni 1, 23
ef o Dduw.
10 [n] Yn hyn yr adweinir plant Duw, a phlant diafol: n Ioan 8
pwy bynnac nid yw yn gwneuthur cyfiawnder, nid yw 44
o Dduw, na'r hwn ni charo ei frawd.
11 Canys hyn yw'r genadwri a glywsoch o'r dech-
reuad, bod i ni garu eu gilydd.
12 [o] Nid fel Cain [yr hwn] oedd o'r drwg, ac a ladd- o Gen.4 5
odd ei frawd: ac am ba beth y lladdodd efe ef? am fod Diar. 15 8
ei weithredoedd ef yn ddrwg, a thai ei frawd yn dda.
13 Na ryfeddwch fy mrodyr er casau o'r byd chwi.
14 [p] Nyni a ŵyddom ddarfod ein symmudo o farwol- p 2 Cor. 5
aeth i fywyd, gan ein bod yn caru y brodyr: yr hwn 1
ni charo [ei] frawd sydd yn aros yn marwolaeth.
15 [q] Pwy bynnac a gasâo ei frawd lleiddiad dyn yw: q Mat. 5
a gwyddoch nad oes i un lleiddiad dyn fywyd tragy- 22
wyddol yn aros ynddo.
16 [r] Yn hyn yr adnabuom gariad, gan iddo ef roddi r Ioan. 10
ei einioes drosom ni, a ninnau a ddylem roddi ein hen- 15
ioes tros ein brodyr.
17 A phwy bynnac sydd ganddo olud y byd hwn, ac
a wel ei frawd mewn eisieu, ac a geidw ei dosturi oddi
wrtho, pa fodd y mae cariad Duw ynddo?
18 Fy mhlant bychain, na charwn ar air, nac ar
dafod [yn unic,] eithr mewn gweithred a gwirionedd.
19 Ac wrth hynny y gwyddom ein bod o'r gwirion-
edd, ac y bydd i ni ger ei fron ef ddiogelu ein calon-
nau.
20 [s] Os ein calonnau a'n condemna, mwy yw Duw s Rhuf. 2
na'n calonnau, ac efe a ŵyr bob peth. 15
21 [t] Oh rai annwyl, os ein calon ni'n condemna, y t 2 Cor. 1
mae i ni hyder ar Dduw. 12
22 [u] A pha beth bynnag a ofynnom, [nyni a'i] der- u 1 Ioan 5
bynniwn ganddo, gan i ni gadw ei orchymynnion, a 14 Rhuf. 8
gwneuthur y pethau sy fodlon yn ei olwg ef. 26
23 [v] Hwn gan hynny yw ei orchymyn ef, fod i ni v Act. 4,
gredu yn enw ei Fab Iesu Grist, a charu eu gilydd, 12
fel y rhoes efe orchymyn i ni.

24 Canys yr hwn a geidw ei orchymynnion ef, a
drig ynddo ef, ac efe a drig ynddo yntef: ac wrth hyn y
gwyddom ei fod ef yn aros ynom, [sef] o'r Yspryd yr
hwn a roddes efe i ni.

## PEN. IV.

*1 Gwahaniaeth ysprydion, 2 Pa fodd yr adweinir Yspryd Duw rhag ysbryd cyfeiliorni, 7 Am gariad Duw a'n cymydogion.*

w 1 Thes 5, 21 OH [w] rai annwyl na chredwch bob Yspryd, eithr
profwch yr ysprydion ai o Dduw y maent: canys
gau brophwydi lawer a aethant allan i'r byd.
x Mat. 10 32 2 [x] Wrth hyn yr adwaenwch Yspryd Duw: pob Ys-
1 Cor. 12 31 pryd yn cyffesu dyfod o Iesu Grist yng-hnawd, sydd
y 2 Ioan 3 o Dduw.
3 [y] A phob Yspryd ni chyffessa ddyfod Iesu Grist
yng-hnawd, nid yw o Dduw: eithr hwn yw [Yspryd]
anghrist, am yr hwn y clywsoch y deue, ac y mae efe
yr awr hon yn y byd.
4 Oh blant bychain yr ydych chwi o Dduw, ac chwi
a'u gorchfygasoch hwy: canys mwy yw'r hwn sydd
ynoch chwi, na'r hwn sydd yn y byd.
5 Hwynt hwy o'r byd y maent, am hynny y llefarant
am y byd, a'r byd a wrendu arnynt?
z Esa. 8, 20 6 [z] Nyni o Dduw yr ydym, yr hwn a edwyn Dduw
1 Tim. 4, 2 3 sydd yn ein gwrando ni: yr hwn nid yw o Dduw ni'n
gwrendu ni, wrth hyn yr adwaenom Yspryd y gwirion-
edd, ac Yspryd y cyfeiliorni.
7 Oh annwylyd, carwn eu gilydd: canys cariad o
Dduw y mae, a phob un a gâr, o Dduw y ganed ef, ac
efe a edwyn Dduw.
8 Yr hwn ni châr, nid edwyn Dduw: canys cariad
yw Duw.
a Ioan 1 12 a 3, 16 9 [a] Yn hyn y mae cariad Duw yn ymddangos arnom
ni, gan i Dduw ddanfon ei unic genhedledig Fab i'r
byd, fel y byddom fyw trwyddo ef.
b Rhuf. 5 10 10 [b] Yn hyn y mae cariad, nid am [ddarfod] i ni garu
Duw: eithr am iddo ef ein caru ni, ac anfon ei Fab [i
fod] yn iawn dros ein pechodau.
c Mat. 18 32, 33 11 [c] Oh annwylyd, os felly y carodd Duw ni, nin-
nau a ddylem garu eu gilydd.
12 Ni welodd neb Dduw er ioed: os carwn ni eu
gilydd y mae Duw yn trigo ynom, ac y mae ei gariad
yn berffaith ynom.
d Ioan 1 16 13 [d] Wrth hyn y gwyddom ein bod yn trigo ynddo
[ef,] ac yntef ynom ninneu: gan [ddarfod] iddo roddi
i ni o'i Yspryd [ef.]
e Ioan 3 17 14 [e] A ninnau a welsom, ac a destiolaethwn [ddar-
fod] i'r Tad ddanfon y Mab [i fod] yn Iachawdwr i'r
byd.
15 Pwy bynnag a gyffeso fod Iesu yn Fab Duw,
ynddo ef y mae Duw yn trigo, ac yntef yn-Nuw.
f Pen. 3, 1 2 16 [f] A nyni a adnabuom, ac a gredasom y cariad yr
hyn sydd gan Dduw ynom: Duw cariad yw, a'r hwn
sydd yn aros yng-hariad sydd yn aros yn Nuw, a
Duw ynddo yntef.
17 Yn hyn y cwplheir y cariad ynom, fel y byddo i
ni hyder ddydd farn: canys fel y mae efe, felly yr
ydym ninnau yn y byd hwn.
g 2 Tim. 1 7 18 [g] Nid oes ofn yng-hariad, eithr y mae perffaith
gariad yn bwrw allan ofn: o blegit y mae i ofn boen-
edigaeth: a'r hwn a ofna, nid yw berffaith mewn
cariad.
19 [h] Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef ein caru
h Luc 7 47 ni yn gyntaf.
20 Os dywed neb Yr wyf yn caru Duw, ac yntef yn
casau ei frawd, celwyddog yw: canys pa fodd y gall
efe yr hwn nid yw yn caru ei frawd a welodd, garu
Duw yr hwn ni welodd?
21 [i] A'r gorchymyn hwn sydd i ni ganddo ef, bod i'r i Mat. 22 37, 39
hwn a garo Dduw, garu ei frawd hefyd.

## PEN. V.

*1 Am ffrwythau ffydd, 11 Swydd, awdurdod, a dyndab Crist, 21 Addysc yn erbyn eulynnod.*

PWY [j] bynnag sydd yn credu mai Iesu yw'r Crist, j 1 Pedr 1 3
o Dduw y ganed, a phob un sydd yn caru yr
hwn a genhedlodd, sydd hefyd [yn caru] yr hwn a
genhedlwyd o honaw.
2 [k] Yn hyn y gwyddom y carwn blant Duw, pan k Ioan 15 35
ydym yn caru Duw, ac yn cadw ei orchymynnion.
3 Canys hyn yw cariad Duw, bod i ni gadw ei or-
chymynnion: a'i orchymynnion nid ydynt drymmion.
4 [l] Canys y mae pob un a'r a aned o Dduw yn l 1 Pedr. 5 9
gorchfygu 'r byd, a hon yw yr oruchafiaeth yr hon
sydd yn gorchfygu y byd, [sef] ein ffydd ni.
5 Pwy sydd yn gorchfygu yr byd, onid yr hwn sydd
yn credu mai Iesu yw Mab Duw?
6 [m] Hwn yw 'r Iesu Grist a ddaeth trwy ddwfr a m Ioan 19 34
gwaed, nid trwy ddwfr yn unic, ond trwy ddwfr a Mat. 3, 16
gwaed: a'r Yspryd yw 'r hwn sydd yn testiolaethu:
canys yr Yspryd sydd wirionedd.
7 Canys y mae tri yn testiolaethu yn y nef, y Tad, y
Gair, a'r Yspryd Glân: a'r tri hyn un ydynt.
8 [n] Ac y mae tri yn testiolaethu ar y ddaiar, yr Ys- n Rhuf. 8 16
pryd a'r dwfr a'r gwaed: a'r tri hyn yn un y maent
[yn cyduno.]
9 Os testiolaeth dynnion a dderbyniwn y mae test-
iolaeth Duw yn fwy: canys hyn yw testiolaeth Duw,
yr hon a destiolaethodd efe am ei Fab.
10 Yr hwn sydd yn credu ym Mab Duw y mae iddo
y destiolaeth ynddo ei hun: hwn nid yw yn credu i
Dduw, a'i gwnaeth ef yn gelwyddog, gan na chred-
odd y destiolaeth yr hon a destiolaethodd Duw am ei
Fab.
11 [o] A hon yw 'r destiolaeth, roddi o Dduw i ni o Ioan 3 36
fywyd tragywyddol: a'r bywyd hwn sydd yn ei Rhuf. 6, 23
Fab ef.
12 [p] Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd p Eph. 3 17
ganddo: a'r hwn nid yw ganddo Fab Duw, nid oes
ganddo fywyd.
13 Y pethau hyn a scrifennais attoch chwi y rhai
ydych yn credu yn enw Mab Duw, fel y gwypoch
fod i chwi fywyd tragywyddol, ac fel y credoch yn
enw Mab Duw.
14 [q] A hyn yw 'r hyfder sydd gennym ynddo ef, q Iago 4 3
canys o gofynnwn ddim yn ol ei ewyllys ef, efe a'n
gwrendu.
15 Ac os gwyddom ei fod ef yn ein gwrando, pa
[beth] bynnag a ofynnom, gwyddom fod i ni ein go-
fynniad a ofynnom iddo ef.
16 [r] Os gwel neb ei frawd yn pechu pechod, [yr r Heb. 6, 4
hwn] nid [yw] i farwolaeth, gofynned, ac efe a rydd Mat. 12, 31
iddo fywyd, sef i'r rhai ni phechant i farwolaeth: y
mae pechod i farwolaeth, nid wyf yn dywedyd y dylid
gweddio tros hwnnw.
17 Pob anghyfiawnder sydd bechod: ac y mae pech-
od [yr hwn] nid [yw] i farwolaeth.
18 Pwy bynnag a aned o Dduw, gwyddom nad yw
yn pechu, eithr hwn a genhedlwyd o Dduw a'i ceidw
ei hun, a'r drwg ni chyfwrdd ag ef.
19 Gwyddom ein bod o Dduw, ac y mae yr holl fyd

yn gorwedd mewn drygioni.
20 Ac [ni] a wyddom ddyfod Mab Duw, ac efe a
roes i ni feddwl i adnabod yr hwn sydd gywir, ac yr
ydym yn y cywir hwnnw [sef] yn ei Fab ef, Iesu
Grist: yr hwn sydd wir Dduw, a bywyd tragyw-
yddol.
21 [s][Fy] rhai bychain ymgedwch oddi wrth eulyn- s 2Cor. 6
nod. Amen. 17

# Yr ail Epistol IOAN.

*Y mae efe yn scrifennu at arglwyddes gan lawenychu am dduwioldeb ei phlant hi. 5 A'u hannog hwythau i ddilyn cariad, ac i ochelyd gau athrawon.*

YR henuriad at yr etholedig arglwyddes, a'i phlant,
y rhai sy hoff gennif yn y gwirionedd, ac nid
myfi yn unic, eithr y rhai oll a adnabuant y gwirion-
edd:
t Phil. 1, 6 2 [t] Er mwyn y gwirionedd yr hwn sydd yn aros
Ioan 10, ynom ni, ac a fydd gyd â ni yn dragywydd.
28 3 Bydded gras gyd â chwi, trugaredd a thangnheddyf
gan Dduw Tad, ac oddi wrth yr Arglwydd Iesu Grist
Fab y Tad, gyd â gwirionedd, a chariad.
u 3 Ioan 3 4 [u] Llawen iawn oedd gennif gael o honof dy blant
1 Thes. 2 yn rhodio mewn gwirionedd, fel y derbyniasom or-
19 chymyn gan y Tad.
5 Ac yn awr yr wyf yn attolwg i ti, O arglwyddes,
(nid fel un yn scrifennu gorchymyn newydd i ti, eithr
yr hwn oedd i ni o'r dechreu) bod i ni garu eu gilydd.
v Tit 1, 16 6 [v] A hwn yw 'r cariad, bod i ni rodio yn ol ei or-
chymynnion ef, hwn yw'r gorchymyn, bod i chwi fel
y clywsoch o'r dechreu rodio ynddo.
7 Canys llawer o dwyllwyr a ddaethant i mewn i'r
byd, y rhai ni chyffesant ddyfod Iesu Grist yn y
cnawd: yr hwn sydd gyfryw, twyllwr yw, ac ang-
hrist. w Mat. 2
8 [w] Edrychwch arnoch eich hunain, na chollom y 13. a 13, 24
pethau a wnaethom, eithr fel y derbyniom lawn wobr.
9 Pwy bynnag sydd yn trosseddu, ac nid yw yn aros
yn nysceidiaeth Crist, nid yw Duw ynddo: yr hwn
sydd yn aros yn nysceidiaeth Crist, y mae ynddo y
Tad a'r Mab.
10 [x] Os daw neb attoch ac heb ddwyn y ddysceid- x 2Tim. 3
iaeth hon, na dderbynnwch ef i'r tŷ, ac na chyferch- 6
wch ef: Gal. 1, 8
11 Canys y mae yr hwn a'i cyfarcho yn gyfrannog 9
o'i weithredoedd drwg ef. Er bod gennif lawer o
bethau iw scrifennu attoch, er hynny nid scrifennaf â
phappyr ac ingc, eithr gobeithio 'r ydwyf ddyfod at-
toch, a llefaru enau yng-enau, fel y cyflawner ein lla-
wenydd.
12 [y] Y mae meibion dy etholedig chwaer i'th an- y 3 Ioan 14
nerch. Amen.

# Y TRYDYDD EPISTOL

I

# SANCT IOAN.

*Duwiol fuchedd Gaius. 9 Anglod Diotrephes. 12 A chlod Demetrius.*

YR henuriad at yr annwyl Gaius, yr hwn yr wyf
yn ei garu mewn gwirionedd.
z Rhuf. 5 2 [z] Yr annwyl, yr ydwyf yn dymuno yn bennaf dy
1, 2 fod yn llwyddo, ac yn dda 'r byd arnat, fel y mae dy
enaid yn llwyddo.
a Sal. 51, 6 3 [a] Canys llawenychais yn fawr, pan ddaeth dy fro-
Ioan 1, dyr a thestiolaethu am y gwirionedd sydd ynot, fel yr
47 ydwyt yn rhodio mewn gwirionedd.
b 1Cor. 4 4 [b] Nid oes gennif lawenydd mwy na hyn [nid am-
15 gen,] clywed bod fy meibion yn rhodio mewn gwir-
ionedd.
c Luc 12 5 [c] Yr annwyl, yr ydwyt yn gwneuthur yn ffyddlon
42 yr hyn yr wyt yn ei wneuthur i'r brodyr, ac i estron-
1 Pedr 4 iaid,
10 6 Y rhai a destiolaethasant am dy gariad ger bron
yr eglwysi, y rhai os hebryngi rhagddynt megis y
gwedde o herwydd Duw, da y gwnei.
7 Canys er mwyn ei enw ef yr aethant allan, heb
gymmeryd dim gan y cenhedloedd.
8 [d] Nyni a ddylem gan hynny dderbyn y cyfryw rai, d 1Cor. 3
fel y byddom gynhorthwy-wyr i'r gwirionedd. 9
9 e Scrifennais at yr eglwys: eithr Diotrephes yr Mat. 9, 38
hwn sydd yn chwennych cael blaenori yn eu plith e 2Thes. 2
hwy, ni dderbyn ddim o honom. 4, 6
10 [f] O herwydd pa ham, os deuaf, mi a fynegaf ei 2 Cor. 1,
weithredoedd y rhai y mae yn eu gwneuthur, gan 24
siarad yn ein herbyn ni â geiriau drygionus: ac nid f Mat. 23
yn fodlon i hynny, hefyd nid yw efe ei hun yn derbyn 13
y brodyr, eithr y mae yn gwahardd y rhai a ewyllys- Ioan 9, 34
ient, ac yn eu gyrru o'r eglwys.
11 Fy annwylyd, na ddilyn yr hyn sydd ddrwg,
ond yr hyn sydd dda: yr hwn sydd yn gwneuthur
daioni o Dduw y mae: a'r hwn a wna ddrygioni, ni
welodd Dduw. g 1Tim. 3
12 [g] Y mae i Demetrius air da gan bawb, a chan y 7
gwirionedd ei hunan: a nyni hefyd ein hunain ydym Act. 10, 22

yn testiolaethu, a gwyddoch fod ein testiolaeth ni yn
wir.
13 Y mae i mi lawer o bethau i'w scrifennu: eithr
nid â phen ac ingc yr escrifennaf i attat.
14 Gobeithio yr ydwyf gael dy weled ar fyrder, ac y
cawn ymddiddan enau yng-enau.
15 Tangnheddyf i ti, y mae y cyfeillion i'th annerch:
annerch y cyfeillion wrth eu henwau.

# EPISTOL CYFFREDINOL

# SANCT IUDAS.

*Y mae yn cynghori pawb i ymgadw oddi wrth y gau athrawon gan ddangos eu drwg cynneddfau a'u mawr ddialedd, ac yna yn annog i barhau yn y gwirionedd.*

h Ioan 10. IUDAS [h] gwasanaethwr Iesu Grist, a brawd Iaco at
28 y rhai a alwyd, ac a sancteiddiwyd gan Dduw
1 Pedr 4 5 Tad, ac ydynt gadwedig i Iesu Grist:
2 Trugaredd i chwi, a thangneddyf, a chariad a luosoger.
i Tit. 1, 3 4 3 [i] Fy annwylyd, pan roddais fyng-hwbl ddiwyd-
Phil. 1, rwydd ar scrifennu attoch, am yr iechydwriaeth gyff-
27 redinol, angenrhaid oedd i mi scrifennu attoch i'ch
annog i ymdrech ym mhlaid y ffydd, yr hon a rodded
un-waith i'r sainct.
4 [j] Canys y mae rhyw ddynion wedi ymlusco i mewn,
j 2 Pedr 2 1 y rhai oeddynt gynt wedi eu rhagordeinio i'r farned-
Dat. 13, 11 igaeth hon: annuwolion ydynt, y rhai sy yn dym-
chwelyd gras Duw yn drythyllwch, ac yn gwadu
Duw yr unic Arglwydd, a'n Harglwydd Iesu Grist.
k 1 Cor. 10 5 [k] Ewyllysio gan hynny yr ydwyf eich coffa, yn
5. 10 Num. 14 gymmaint, ac i chwi un-waith wybod hyn, pa wedd
29 y bu i'r Arglwydd, wedi darfod iddo waredu y bobl
allan o'r Aipht, ddestruwio eilwaith y rhai ni chredent.
l Gen. 1, 31 6 [l] Yr angelion hefyd y rhai ni chadwasant eu de-
chreuad eithr gadel eu trigfa eu hun, a gatwodd efe
mewn cadwynau tragywyddol i dân tywyllwch, hyd
farn y dydd mawr.
7 Megis Sodoma, a Gomorha, a'r dinasoedd o'u ham-
m 1 Cor. 10, 6, 11 gylch, y rhai yn gyffelyb fodd ag hwynt a wnaethant
2 Pedr 2 6 odineb, ac a ddilynasant gnawd arall, a osodwyd yn
siampl, gan ddioddef dialedd tân tragywyddol.
8 Yn gyffelyb i hynn y mae y breuddwydwyr hyn
yn halogi 'r cnawd, ac yn dirmygu llywodraeth, ac yn
cablu y rhai sy mewn awdurdod.
n Deut. 9 [n] Eithr Mihangel yr arch-angel, pan ymrysonodd
34, 6 Zec. 3, 2 efe yn erbyn y diafol, ac ymddadlu am gorph Moses,
ni feiddiodd feio arno â chablau, eithr dywedyd, Cer-
o Rhuf. 1 ydded yr Arglwydd di.
21 10 [o] Eithr y rhai hyn a gablant y pethau ni wyddant,
a pha beth bynnag a wyddant yn naturiol, megis anif-
p 1 Ioan 3 eiliaid y rhai sy yn ddireswm, yn y pethau hynny y
12 maent yn ymlygru.
11 [p] Gwae hwyntwy, canys cerddasant yn ffordd Cain,
ac a'u difethwyd gan dwyll gwobr Balaam, ac a'u
cyfrgollwyd yng-wrth ddywediad Core.
12 [q] Y rhai hyn ydynt frychau yn eich cariad-wledd-
oedd pan fyddant yn cyd-wledda â chwi, yn ddiofn, q Eph. 2, 1 1 Tim. 5
yn eu pesci eu hunain: cwmylau ydynt diddwfr, wedi 6
eu cylch-arwain gan wyntoedd: prennau llygredic
heb ffrwyth, dwywaith yn feirw, ac wedi eu diwreiddio.
13 [r] Tonnau cynddeiriog y môr ydynt, yn ewynnu r Esa. 57
allan eu cywilydd eu hunain: sêr gwibiog, i'r rhai y 20
cadwyd niwl y tywyllwch yn dragywydd.
14 [s] Ac Enoc hefyd y seithfed o Adda, a brophwyd- s Dan. 7
odd am y cyfryw rai, gan ddywedyd, Wele, y mae'r
Arglwydd yn dyfod gyd â myrddiwn o'i seinctiau,
15 [t] I roi barn yn erbyn pawb, ac i argyweddu'r t Mat. 12
holl annuwiolion yn eu plith hwynt, am eu holl an- 36 Act 9, 4
nuwiol weithredoedd, y rhai a wnaethant hwy yn an-
nuwiol, ac am eu holl ymadroddion caled, y rhai a
ddywede pechaduriaid annuwiol yn eu herbyn.
16 Y rhai hyn ydynt rwgnach-wyr, achwynwyr, [a]
rhai yn cerdded yn ol eu chwantau eu hunain: genau
y rhai a ddywed falch bethau: yn mawrygu [dynion]
er mwyn budd.
17 [u] Eithr (oh rai annwyl) cofiwch y geiriau a rag- u 1 Tim. 4
ddywetpwyd gan apostolion Iesu Grist. 1
18 [v] Gan iddynt ddywedyd wrthych, Y byddai gwat- 2 Tim. 3, 1 v 2 Pedr 3
worwyr yn yr amser diweddaf, y rhai a gerddent yn ol 3
eu hannuwiol chwantau eu hunain.
19 Y rhai hyn ydynt yn ymneilltuo yn gnawdol,
heb fod yr Yspryd ganddynt.
20 Eithr chwy-chwi annwylyd, ymadeiledwch yn
eich santeiddiaf ffydd, gan weddio yn yr Yspryd
Glân.
21 [w] Ac ymgedwch yng-hariad Duw, gan edrych w Mat. 25
am drugaredd Iesu Grist i fywyd tragywyddol. 34
22 A thrugarhewch wrth rai, gan ymrafael farnu. 2 Tim. 1 17
23 [x] Ac eraill cedwch ag ofn, gan eu tynnu allan o'r x 1 Tim. 1
tân, gan gasau y wisc a halogwyd gan y cnawd. 20 1 Cor. 5, 3
24 Ac i hwn a ddichon eich cadw yn ddigwymp, 4
a'ch gosod yn ddifeius yng-wydd ei ogoniant trwy or-
foledd,
25 [y] Sef, i Dduw yr unig ddoeth, ein Iachawdwr [y y Dan. 7
byddo] gogoniant, a mawredd, ac arglwyddiaeth, a 14
meddiant, yr awr hon, ac yn yr holl oesoedd. Amen.

TERFYN.

# GWELEDIGAETH IOAN

## Y DIFINYDD.

### PENNOD I.

1 *Achos y weledigaeth hon,* 3 *Am y rhai a'i darllenant,* 4 *Ioan yn scrifennu at y saith eglwys,* 5 *Mawredd a swydd Mab Duw.* 20 *Gweledigaeth y canhwyll-brennau a'r sêr.*

a Dan. 12 10 GWELEDIGAETH a Iesu Grist, yr hon a roddes
Duw iddo ef, i ddangos i'w wasanaeth-wyr y
pethau a orfydd yn fuan eu dyfod i ben, ac a ddanfon-
odd, ac a ddangosodd efe trwy ei Angel iw wasan-
aeth-wr Ioan:
2 Yr hwn a destiolaethodd am air Duw, ac am dest-
iolaeth Iesu Grist, ac am bob peth a welodd efe.
b 2 Thes. 2 3 3 b Dedwydd yw'r neb a ddarlleno, a'r rhai a wran-
2 Tim. 3, 1 2 dawant eiriau y brophwydoliaeth hon, ac a gadwant
y pethau sy yn scrifennedig ynddi hi, canys y ma e'r
amser yn agos.
4 Ioan at y saith eglwys y rhai [ydynt] yn Asia: Grâs
fyddo gyd â chwi, a heddwch oddi wrth yr hwn sydd,
yr hwn a fu, a'r hwn a fydd rhag-llaw, ac oddi wrth y
saith Yspryd y rhai ydynt ger bron ei orsedd-faingc ef,
c 1 Tim. 6 15 5 c Ac oddi wrth Iesu Grist yr hwn sydd dŷst ffydd-
Psa. 11 16 lon y cyntaf-anedic o'r meirw, a thywysog breninoedd
y ddaiar, iddo ef yr hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd
ni oddi wrth ein pechodau yn ei waed ei hun,
d Pen. 5 10 6 d Ac a'n gwnaeth ni yn frenhinoedd, ac yn offeiriaid
Dan 7, 27 i Dduw ei Dâd ef, iddo ef y byddo gogoniant, ac em-
herodraeth yn oes oesoedd, Amen.
7 Wele, y mae efe yn dyfod gyd â'r wybrennau, a
phob llygaid a'i gwel ef, a'r rhai hefyd a'i gwanasant
ef: ac wylofain a wna ger ei fron ef holl dylwythau y
ddaiar, felly y mae, Amen.
e Rhuf. 11, 36 8 e Mi wyf Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd,
medd yr Arglwydd, yr hwn sydd, a'r hwn fu, ac yr
Esa. 41, 4 hwn a ddaw, [sef] yr Holl-alluog.
9 Myfi Ioan eich brawd chwi, a'ch cydymmaith
mewn cystudd, ac yn y deyrnas, ac mewn dioddefgar-
wch Iesu Grist, oeddwn mewn ynys a elwir Patmos
am air Duw, ac am destiolaeth Iesu Grist,
f Ezec. 3 12 10 f Yr oeddwn yn yr Yspryd yn nydd yr Arglwydd,
ac mi a glywais yn fy ol lais uchel fel udcorn,
g Dan. 12 4 11 g Yn dywedyd, Mi wyf Alpha ac Omega, y cyntaf
a'r diweddaf, a'r peth yr hwn wyt ti yn ei weled,
scrifenna mewn llyfr, a danfon i'r saith eglwys y rhai
sy yn Asia, i Ephesus, ac i Smyrna, ac i Pergamus, ac
i Thyatira, ac i Sardis, ac i Philadelphia, ac i Laodicia.
12 A mi a droais yn fy ol i weled y llais a ddywedase
wrthifi, a phan droais, mi a welwn saith ganhwyll-bren
o aur,
h Mat. 18 20 13 h Ac yng-hanol y saith ganhwyll-bren aur un yn
Dan. 10, 5 debyg i Fab y dŷn, wedi ymwisco â gwisc laes hyd ei
draed, ac wedi gwisco gwregys aur yng-hylch ei
fronnau.
i Dan. 7, 9 14 i Ei benn a'i wallt oeddynt wynnion, fel gwlân
gwyn, ac fel eira, a'i lygaid oeddent fel fflam dân.
j Sal. 45, 3 15 j A'i draed oeddent fel prês coeth, megis yn llosci
5 a 2, 9 mewn ffwrn, a'i lais fel sŵn llawer o ddyfroedd.
k Mat. 5 15 16 k Ac yr oedd yn ei law ddehau saith seren, o'i
enau yr ydoedd cleddyf yn myned allan llym dau-fin-
iog, a discleiriodd ei wyneb ef fel yr haul yn ei nerth.
17 A phan welais ef, mi a syrthiais wrth ei draed fel
marw, ac efe a roddodd ei law ddehau arnaf, gan ddy-
wedyd wrthif, Nac ofna mi wyf y cyntaf a'r diweddaf,
18 l Ac yr wyf yn fyw, ac a fum farw, ac wele, yr l Heb. 8, 25
wyf yn fyw yn oes oesoedd, Amen, ac y mae gennif Mat 10 28
agoriadau uffern, a marwolaeth.
19 Scrifenna y pethau a welaist, a'r pethau ydynt,
a'r pethau a orfydd fod rhag llaw.
20 Dirgelwch y saith seren a welaist yn fy llaw-
ddehau, a'r saith ganhwyll-bren aur [yw hyn:] y saith
seren, angelion y saith eglwys ydynt, a'r saith gan-
hwyll-bren a welaist, y saith eglwys ydynt.

### PEN. II.

1 *Y mae efe yn cyng-hori pedair eglwys i edifeirwch, i barhau, i ddioddef, ac i wellhau, trwy fygwth, ac addewidion.*

SCRIFENNA m at angel eglwys Ephesus, hyn y m Pen. 1 12
mae yr hwn sydd yn dal y saith seren yn ei law Lef. 26, 12
ddehau, ac sydd yn rhodio yng-hanol y saith ganhwyll-
bren aur, yn ei ddywedyd:
2 n Mi a adwen dy weithredoedd, a'th boen, a'th n Ioan 2 15, 17
ddioddefgarwch, ac na elli gyd-ddwyn â'r rhai drwg, Gal. 2, 14
a phrofi o honot y rhai sy yn dywedyd eu bod yn 1 Ioan 4, 1
Apostolion, ac nid ydynt, a thi a'u cefaist hwynt yn
gelwyddoc.
3 o A thi a oddefaist, ac yr wyt yn oddefgar, ac a o Gal. 6, 9
gymmeraist boen er mwyn fy enw i, ac ni ddeffygiaist. 2 Thes. 3 13
4 p Ac er hynny, y mae gennif [beth] yn dy erbyn, p Gal. 5, 7
am i ti ymadael â'th gariad cyntaf. 2 Tim. 1 15 a 4, 10
5 q Meddylia am hynny o ba le y syrthiaist, ac edifar- q Mat. 23 3
hâ, a gwna y gweithredoedd, cyntaf ac onid ê, mi a Mat. 21,
ddeuaf arfrys yn dy erbyn, ac a symmudaf dy gan- 43
hwyll-bren allan o'i le, oni edifarhei di.
6 Ond hyn sydd gennif, dy fot ti yn casâu gweith-
redoedd y Nicolaiaid, y rhai yr wyf i hefyd yn eu casâu.
7 r Y neb sydd â chlust ganddo gwrandawed, pa beth r Luc 22 30
y mae yr Yspryd yn ei ddywedyd wrth yr eglwysi, i'r Pen. 22 2
gorchfygwr y rhoddaf fwyta o bren y bywyd, yr hwn Rhuf. 8, 21
sydd yng-hanol paradwys Dduw.
8 Ac scrifenna at Angel eglwys yr Smyrniaid, hyn a
ddywed yr hwn sydd gyntaf a diweddaf, yr hwn a fu
farw, ac sydd yn fyw,
9 s Mi a adwen dy weithredoedd, a'th gystudd, a'th s Iago 2, 5
dlodi, (eithr yr wyt yn gyfoethog) ac [mi a adwen]
gabledd y rhai sy yn dywedyd eu bod yn Iuddewon, ac
nid ydynt, ond y maent yn Synagog Satan.
10 t Nac ofna ddim o'r pethau a orfydd i ti eu goddef, t Ioan 9 10
wele, y cythrael a fwrw rai o honoch chwi i garchar,
fel y gellir eich profi chwi: a chwi a gewch gystudd
ddeng-nhiwrnod, bydd ffyddlon hyd farwolaeth, a mi
a roddaf i ti goron y bywyd.
11 u Y neb sydd a chlust ganddo, gwrandawed pa u Pen. 20 6
beth a ddywed yr Yspryd wrth yr eglwysi, ni niweidir 2 Thes. 1 9
y gorchfygwr gan yr ail farwolaeth.
12 Ac scrifenna at angel eglwys Paragmus, hyn y
mae efe yn ei ddywedyd yr hwn sydd a'r cleddyf llym

dau finiog ganddo.
13 Mi a adwen dy weithredoedd, a'th drig-le [sef]
lle mae gorseddfaingc Satan, a thi a gedwaist fy enw
i, a'm ffydd i ni's gwedaist, ie yn y dyddiau pan ladd-
wyd fy ffyddlon ferthyr Antipas yn eich plith chwi,
v Ezec. lle y mae Satan yn trigo.
44,7 14 v Eithr y mae gennif ychydig bethau yn dy erbyn,
Ier.15,19 canys y mae yno gennit rai yn dal dysc Balam, yr hwn
a ddyscodd i Balac fwrw rhwystr ger bron meibion
Israel, i beri iddynt fwytta o'r pethau a aberthasid i
w 1Cor.5 eulynnod, a godinebu,
6 15 w Felly hefyd y mae gennit rai yn dal dysc y Ni-
colaiaid, yr hyn beth yr wyfi yn ei gasau.
16 Edifarhâ, ac os amgen, mi a ddeuaf attat ar frys,
ac a ryfelaf yn eu herbyn hwynt â chleddyf fyng-
enau.
17 Y neb sydd â chlust ganddo gwrandawed pa beth
a ddywed yr Yspryd wrth yr eglwysi, I hwn a orch-
fygo, mi a roddaf iddo ef fwytta o'r Manna, yr hwn
sydd guddiedic, ac mi a roddaf iddo gareg wen, ac yn
y gareg henw newydd yn scrifennedic, yr hwn nid
edwyn neb, ond a'i derbynio,
x Pen 1 14 18 x Scrifenna hefyd at angel Eglwys Thyatira, hyn
Rhuf 8 y mae Mab Duw yn ei ddywedyd, yr hwn sydd a'i
15 lygaid fel fflam dân, a'i draed, fel pres coeth:
y Mat. 13 23 19 y Mi a adwen dy weithredoedd, a'th gariad, a'th
wasanaeth, a'th ffydd, a'th ddioddefgarwch, a'th weith-
redoedd, a bod yr hyn diweddaf yn fwy na'r cyntaf:
z 1Cor 5 20 z Eithr y mae gennif ychydig bethau yn dy erbyn,
1,2 1 Tim 5 am i ti oddef y wraig honno Iezabel, yr hon sydd yn
22 ei galw ei hun yn brophwydes, i ddyscu, ac i dwyllo
fyng-wasanaethwyr i odinebu, ac i fwytta bwydydd
wedi eu haberthu i eulynnod,
a 2Pedr 3 21 a A mi a roddais amser iddi i edifarhau am ei god-
9 ineb, ac ni chymmerth hi edifeirwch.
Rhuf 2,4 22 Wele, mi a'i bwriaf hi i wely, a'r sawl a wnant
5 odineb gyd â hi i gystudd mawr, onid edifarhânt am
eu gweithredoedd,
23 Ac mi a laddaf ei phlant hi â marwolaeth, a'r holl
eglwysi a gydnabyddant mai myfi wyf yr hwn sydd yn
chwilio yr arennau, a'r calonnau, ac mi a roddaf i bob
un o honoch yn ol eich gweithredoedd.
b Gen 7,1 24 b Ac yr wyf yn dywedyd i chwi, ac i'r lleill yn
2 Cor 11 Thyatira, Pa sawl bynnac nid oes ganddynt y ddysc
13 hon, ac ni adnabuant ddyfnder Satan, (fel y dywedant)
ni roddaf arnoch faich arall,
25 Ond y peth sydd gennwch eusus, deliwch yn dda
hyd oni ddelwyf.
26 Canys yr un a orfyddo, ac a gadwo fyng-weith-
redoedd hyd y diwedd, mi a roddaf iddo ef, awdurdod
ar genhedloedd, ac efe a'u bugeilia hwynt â gwialen
haiarn, a hwynt a ddryllir fel llestri pridd.
27 Ac yn y modd y derbynniais gan fy Nhad, felly
y rhoddaf fi iddo ef y seren foreu.
c Pen 22 28 c Y neb sydd â chlust ganddo, gwrandawed pa
16 beth a ddywed yr Yspryd wrth yr eglwysi.

## PEN. III.

*Y mae efe yn annog yr eglwysi a'u gweinidogion i wir bro-ffesu ffydd, ac i wilio. 12 Gan wneuthur addewidion i'r rhai a barhânt.*

d Ioan 15 SCRIFENNA d hefyd at angel yr eglwys yr hon
26. a 16,14 sydd yn Sardis, hyn a ddywedodd yr hwn sydd â
2 Tim. 3 saith Yspryd Duw ganddo, ac a'r saith seren, Mi a ad-
5 wen dy weithredoedd, canys y mae enw i ti dy fod yn
fyw, ond yr wyt yn farw,
2 Deffro, a chadarnhâ y lleill, y rhai ydynt yn barod
i feirw, canys ni chefais i dy weithredoedd yn gyflawn
ger bron Duw.
3 e Am hynny cofia pa beth a dderbynniaist, ac a e Col.2,6
glywaist, a dal yn sicer, ac edifarhâ am hynny, oni a 4,17
wili mi a ddeuaf attat fel lleidr, ac ni chei wybod pa
awr y deuaf attat,
4 f Eithr y mae gennit ychydig o henwau etto yn f Act.1,15
Sardis, y rhai ni halogasant eu dillad, a'r rhai hynny Gen. 7,1
a rodiant gyd â mi mewn dillad gwynion, canys teil-
lwng ydynt.
5 g Yr hwn a orfyddo, a ddilladir mewn dillad gwyn- g Pen. 19 1
ion, ac ni ddileuaf ei henw ef allan o lyfr y bywyd, 2 Tim.4,7
ond mi a gyffesaf ei henw ef ger bron fy Nhad, a cher
bron ei angelion.
6 Y neb sydd â chlust ganddo, gwrandawed, pa beth
a ddywed yr Yspryd wrth yr eglwysi.
7 h Scrifenna hefyd at angel yr eglwys yr hon sydd h Esa. 22 22
yn Philadelphia, Hyn a ddywed yr hwn sydd sanct- 1 Cor, 16
aidd a chywir, yr hwn y mae ganddo agoriad Dafydd, 9
yr hwn a egyr, ac ni chaea neb, ac a gaea, ac ni egyr
neb,
8 i Mi a adwen dy weithredoedd, wele, mi a roddais i Mat. 16
ger dy fron ddrws agored, ac ni ddichon neb ei gaeu, 18
canys y mae gennit ychydig nerth, a thi a gedwaist
fyng-air, ac ni wedaist fy henw.
9 Wele, mi a wnaf iddynt hwy o Synagog Satan, y
rhai a'u galwant eu hun yn Iddewon, ac nid ydynt,
ond y maent yn gelwyddog, wele meddaf, mi a wnaf
iddynt ddyfod, ac anrhydeddu ger bron dy draed, a
chydnabod fy mod i yn dy garu di,
10 j O achos i ti gadw gair fy nioddefgarwch i, am j Rhuf. 15 4
hynny mi a'th gadwaf di oddi wrth awr y brofedigaeth, Heb. 10
yr hon a ddaw ar yr holl fyd, i'w profi hwynt y rhai 36
ydynt yn trigo ar y ddaiar.
11 k Wele, yr wyf yn dyfod ar frys, dal yr hyn sydd k 1Tim. 1 19
gennit rhag i neb ddwyn dy goron, 2 Ioan 8
12 Mi a wnaf yr hwn a orfyddo yn golofn yn nheml
fy Nuw i, ac nid aiff efe allan mwyach, ac mi a scrif-
ennaf arno ef henw fy-Nuw i, a henw dinas fy Nuw i,
yr hon ydyw Ierusalem newydd, yr hon sydd yn des-
cyn o'r nef, oddi wrth fy Nuw i, ac [mi a scrifennaf
arno ef] fy henw newydd i,
13 Y neb sydd â chlust ganddo, gwrandawed pa
beth a ddywed yr Yspryd wrth yr eglwysi.
14 l Scrifenna hefyd at angel eglwys y Laodiciaid, l 1Cor. 1 19
Hyn y mae Amen yn ei ddywedyd, y Tyst ffyddlon a Ioan.1, 3
chywir, dechreuad creaduriaid Duw,
15 m Mi a adwen dy weithredoedd, nid ydwyt na m 1Bren
thwymn, nac oer, mi a fynnwn pe bait naill ai twymn 18, 21
ai oer.
16 n Ac am hynny gan dy fod yn glaiar, heb fod nac n Lef. 18, 27
yn oer, nac yn dwymn, mi a'th chwdaf di allan o'm Amos 6
genau, 8
17 o Canys yr wyt yn dywedyd, Yr wyf i yn gyfoeth- o Luc 18 11
og, a chennif amlder o dda, ac nid oes arnaf i eisieu
dim, ac ni wyddost dy fod yn druan, ac yn resynol, ac
yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth,
18 p Yr wyf yn dy gynghori i brynu gennifi aur wedi p Mat. 13
ei buro trwy dân fel i'th gyfoethoger, a dillad gwyn- 44
ion fel i'th wiscer, ac fel nad ymddangoso gwarth dy
noethder di, ira hefyd dy lygaid âg eli llygaid, fel y
gwelech,
19 Yr wyf yn ceryddu, ac yn cospi y sawl yr wyf yn
eu caru, am hynny cymmer zêl, ac edifarhâ.

20 Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws, ac yn curo, o chlyw un dyn fy llais, ac agoryd y drws, mi a âf i mewn atto ef, ac a swperaf gyd ag ef, ac yntef gyd â minne.

q Mat. 19 28 21 q Yr hwn a orfyddo mi a roddaf iddo ef eistedd gyd â mi ar fyng-orseddfaingc, fel y gorfum i, ac yr eisteddais gyd â fy Nhad ar ei orsedd-faingc ef.

22 Y neb sydd a chlust ganddo, gwrandawed pa beth a ddywed yr Yspryd wrth yr eglwysi.

## PEN. IV.

1 *Gweledigaeth mawredd Duw yn ymddangos ar orsedd-faingc lle y gwele Ioan un yn eistedd, 8 A phedair ar hugain o orseddfeudd o'i amgylch, a phedwar ar hugain o henafgwyr yn eistedd arnynt, a phedwar anifail yn moli Duw ddydd a nos.*

r Mat. 16 17a 11,27 GWEDI r hyn mi a edrychais, ac wele yr ydoedd drws yn agored yn y nef, a'r llais cyntaf a glywais oedd fel llais udcorn yn chwedleua â mi, gan ddywedyd, Dring i fynu ymma, a mi a ddangosaf i ti y pethau a orfydd eu gwneuthur wedi hyn.

2 Ac yn y man yr oeddwn yn yr yspryd, ac wele fe a roddwyd gorsedd-faingc yn y nef, ac eisteddodd un ar yr orsedd-faingc.

3 A'r hwn a eisteddodd, oedd i'w weled yn debyg i garreg Iaspis, a Sardon, ac enfys oedd o amgylch yr orsedd-faingc yn debyg yr olwg arni i Smaragdus.

s 1 Cor. 6, 2 4 s Ac yng-hylch yr orsedd-faingc yr oedd pedair gorsedd-faingc ar hugain, ac mi a welwn ar y gorseddfeingciau bedwar ar hugain o henuriaid yn eistedd, a dillad gwynnion am danynt, a choronau o aur ar eu pennau.

t Act. 2, 3 Eph. 1. 18 5 t A mellt, a tharanau, a lleisiau, a ddaethant allan o'r orseddfaingc, a saith ffagl o dân oeddent yn llosci ger bron yr orseddfaingc, y rhai ydynt saith Yspryd Duw,

u Eph. 4 11 6 u Ac o flaen yr orseddfaingc yr ydoedd môr o wydr yn debyg i [faen] crystal, ac yng-hanol yr orseddfaingc, ac yng-hylch yr orseddfaingc yr oedd pedwar anifail yn llawn o lygaid ym mlaen ac yn ol.

7 A'r anifail cyntaf oedd debyg i lew, a'r ail anifail yn debyg i lo, a'r trydydd oedd ag wyneb ganddo fel wyneb dyn, a'r pedwerydd anifail oedd yn debyg i eryr yn ehedeg.

v Esa. 6. 2 1 Pedr 5 2 1 Tim. 4 6 Mat. 13 52 8 v Ac yr oedd i bob un o'r pedwar anifail chwech o adenydd o amgylch iddynt, a'r rhai hynny yn llawn llygaid o'r tu fewn, ac nid oeddent yn gorphwys ddydd na nos, gan ddywedyd, Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Hollalluog, yr hwn a fu, ac y sydd, ac yw ar ddyfod.

9 A phan roddodd yr anifeiliaid hynny ogoniant ac anrhydedd, a diolch i'r hwn oedd yn eistedd ar yr orseddfaingc, yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd:

w Ioan 3 30 10 w Y pedwar henuriad ar hugain a syrthiasant ger bron yr hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ac a addolasant yr hwn sydd yn byw yn dragywydd, ac a fwriasant eu coronau ger bron yr orsedd-faingc, gan ddywedyd,

x Rhuf. 11, 36 11 x Teilwng wyt O Arglwydd i dderbyn gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, canys ti a greaist bob peth, ac er mwyn dy ewyllys di y maent, ac y creuwyd hwynt.

## PEN. V.

*Y mae Ioan yn gweled yr oen yn agoryd y llyfr. 8. 14 Ac am hynny y mae y pedwar anifail, y pedwar ar hugain henafgwyr, a'r angelion yn moli yr Oen, ac yn ei addoli, 9 Am eu prynedigaeth, a'u doniau eraill.*

AC y mi a welais mewn llaw ddehau yr hwn oedd yn eistedd ar yr orseddfaingc, lyfr wedi ei scrifennu o'r tu fewn, ac o'r tu allan, [ac] wedi ei selio â saith sêl. y Mat. 11 27 1 Cor. 2, 10

2 z Ac mi a welais angel cadarn yn pregethu â llais uchel, Pwy sy deilwng i agoryd y llyfr, ac i ddattod ei seliau ef? z 1 Pedr 1 12

3 a Ac nid oedd neb yn y nef, nac yn y ddaiar, na than y ddaiar, yn abl i agoryd y llyfr, nac i edrych arno. a Esa. 41 28 Ioan. 1, 18

4 Ac mi a wylais lawer, o achos na chaed neb yn deilwng i agoryd, ac i ddarllen y llyfr, nac i edrych arno.

5 b Ac un o'r henuriaid a ddywedodd wrthif fi, Nac wyla, wele, y llew yr hwn sydd o lwyth Iuda, gwreiddin Dafydd a orchfygodd i agoryd y llyfr, ac i ddattod ei saith sêl ef. b Ioan 5 20 Phil. 2, 9

6 Yna mi a edrychais, ac wele, yng-hanol yr orseddfaingc a'r pedwar anifail, ac yng-hanol yr henuriaid, yr ydoedd oen yn sefyll fel pe buase wedi ei ladd, yr hwn oedd a saith gorn, ac a saith lygad iddo, y rhai ydynt saith Yspryd Duw, y rhai a ddanfonwyd i'r holl fyd.

7 c Ac efe a ddaeth, ac a gymmerth y llyfr o law ddehau yr un oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc. c Pen. 6, 1

8 d A phan gymmerth efe y llyfr, y pedwar anifail, a'r pedwar henuriad a'r hugain, a syrthiasant ger bron yr oen, ac yr ydoedd gan bob un o honynt delynau a chrythau aur yn llawn o arogl-darth, y rhai ydynt weddiau 'r sainct. d Pen. 8, 5 Heb. 9, 4

9 e Ac hwynt hwy a ganasant ganiad newydd, gan ddywedyd, Teilwng wyt ti i gymmeryd y llyfr, ac i dattod ei seliau ef: canys ti a laddwyd, a thi a'n prynaist ni i Dduw, trwy dy waed, allan o bob llwyth, a thafod, a phobl a chenhedlaeth, e 1 Cor. 6 20 Gal. 3, 15

10 f Ac a'n gwnaethost yn frenhinoedd, ac yn offeiriaid i'n Duw ni, a ni a deyrnaswn ar y ddaiar. f Dan 7 17 Luc 19, 17 19

11 Yna mi a edrychais, ac a glywais lais llawer o angelion yng-hylch yr orseddfaingc a'r anifeiliaid a'r henuriaid, ac yr oeddynt yn fil o filoedd,

12 Yn dywedyd â llais uchel, Teilwng yw 'r Oen yr hwn a laddwyd i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a moliant.

13 g Ac mi a glywais yr holl greaduriaid y rhai ydynt yn y nef, ac ar y ddaiar, a than y ddaiar, ac yn y môr, a'r hyn oll sydd ynddynt hwy, yn dywedyd, Moliant, ac anrhydedd, a gogoniant, a gallu fyddo iddo ef yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, ac i'r Oen yn dragywydd. g Rhuf. 8 21

14 A'r pedwar anifail a ddywedasant, Amen, a'r pedwar henuriad ar hugain a syrthiasant i lawr, ac a'i anrhydeddasant ef, yr hwn sydd yn byw yn dragywydd.

## PEN VI.

1 *Yr oen yn agoryd y chwech sel, a llawer o bethau yn dyfod ar ol eu hagoryd, fel y mae hyn yn cynnwys prophwydoliaeth gyffredin hyd ddiwedd y byd.*

YN h ol hyn, mi a edrychais pan agorodd yr Oen un o'r seliau, ac mi a glywais un o'r pedwar anifail yn dywedyd, fel trwst taran, Tyret ac edrych h 2 Cor. 10 4 Heb. 4, 12

2 Ac mi a edrychais, ac wele farch gwyn, ac yr ydoedd bwa gan yr un oedd yn eistedd arno, a choron a roddwyd iddo ef, ac efe a aeth allan yn gorchfygu, ac i orchfygu.

3 i A phan agorodd efe yr ail sel, mi a glywais yr ail anifail yn dywedyd, Tyret, ac edrych. i Pen 3, 5 Heb. 3, 13

j Ioan 19 11 Esa. 5, 10 4 j A march arall a aeth allan yn goch, a gallu a roed
i'r un oedd yn eistedd arno i gymmeryd heddwch oddi
ar y ddaiar, ac i beri iddynt ladd eu gilydd, a rhodd-
wyd iddo ef gleddyf mawr.
5 A phan agorodd efe y drydydd sêl, mi a glywais y
trydydd anifail yn dywedyd, Tyret, ac edrych, a mi a
edrychais, ac wele farch du, a'r hwn oedd yn eistedd
arno ef a chlorian pwys ganddo yn ei law.
k Amos 8 11 6 k Ac mi a glywais lais yng-hanol y pedwar anifail
1 Sam. 3, 1 yn dywedyd, Chænir o wenith er ceiniog, a thri
Chænir o haidd er ceiniog, a'r olew, a'r gwin na wna
niwed iddynt,
7 A phan agorodd efe y bedwaredd sêl, mi a glywais
y pedwerydd anifail yn dywedyd, Tyret, ac edrych.
8 Ac mi a edrychais, ac wele farch glas, a marwol-
aeth oedd henw yr un oedd yn eistedd arno, ac yr
oedd uffern yn eu ddilyn ef, a gallu a roed iddynt hwy
ar y bedwaredd ran o'r ddaiar, i ladd â chleddyf, ac â
newyn, ac â marwolaeth, ac â bwyst-filod y ddaiar.
l Pen. 8, 5 9 l A phan agorodd efe y bummed sêl, mi a welais
tann yr allor eneidiau y rhai a laddasid am air Duw,
ac am y destiolaeth yr hon oedd ganddynt.
m Luc 18 7 10 m Ac hwy a lefasant â llef uchel, gan ddywedyd,
Pa hyd Arglwydd, sanctaidd a chywir nad ydwyt yn
2 Thes. 1 11 barnu, ac yn dial ein gwaed ni, ar y rhai sy yn trigo
Mat. 23 31 ar y ddaiar?
11 A gynau gwynion a roed i bob un o honynt, a dy-
wedwyd wrthynt, am iddynt orphywys tros ychydig
o amser, nes cyflawni rhif, eu cydwasanaeth-wyr, a'u
brodyr y rhai oeddynt i'w lladd fel hwythau.
12 Ac mi a edrychais pan agorodd efe y chweched
sêl, ac wele, yr oedd daiar-gryn mawr, a'r haul a aeth
cyn ddued a sachlen flew, a'r lleuad a aeth fel y gwaed.
13 A'r sêr o'r nef a syrthiasant i'r ddaiar, fel pren
ffigus yn bwrw ffigus-gleision pan esgydwer ef â gwynt
mawr.
n Mat. 24 29 14 n A'r nef a aeth heibio fel llyfr wedi ei blygu yng-
hyd: a phob mynydd, ac ynys a symmudwyd allan
o'u lleoedd.
15 A brenhinoedd y ddaiar, a'r gwyr mawr, a'r cyf-
oethogion, a'r pen-capteniaid, a'r gwyr cedyrn, a
phob gwr caeth, a phob gwr rhydd a ymguddiasant
mewn ogfeudd, ac yng-hreigiau y mynyddoedd.
o Luc 23 30 16 o Ac hwy a ddywedasant wrth y mynyddoedd a'r
creigiau, Syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o wydd
yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, ac oddi
wrth lid yr Oen.
p Pen. 14 19 17 p Canys y mae dydd mawr ei ddigter ef wedi
Num. 24 23 dyfod, a phwy a ddichon sefyll?

PEN. VII.

*4. 9. Gweled y mae efe wasanaethwyr Duw wedi eu selio yn eu talau o bob cenhedlaeth a phobloedd. 25 Y rhai er eu bod yn dioddef trallod er hynny y mae'r Oen yn eu bwydo hwynt, ac yn ei harwain i ffynhonnau dwfr byw.*

AC yn ol hyn, mi a welais bedwar angel yn sefyll
ar bedair congl y ddaiar, yn dal pedwar gwynt
y ddaiar, rhag i'r gwynt chwythau ar y ddaiar, nac ar
y môr, nac ar un pren.
q Mal. 3, 1 2 q Ac mi a welais angel arall yn dyfod i fynu oddi
Heb. 1, 6 wrth godiad haul, ac yr ydoedd sêl Duw byw ganddo.
ac efe a lefodd â llais uchel ar y pedwar angel i'r rhai
y rhoddasid [gallu] i ddrygu 'r ddaiar a'r môr,
3 Gan ddywedyd, Na ddrygwch y ddaiar na 'r môr,
na 'r coedydd hyd oni seliom wasanaeth-wyr ein Duw
ni yn eu talcennau.

4 r Ac mi a glywais rif y rhai a seliwyd, [yr oedd] r Gal. 6, 16
wedi eu selio bedwar a saith ugain mil o holl lwythau a 3, 28 Act 4l, 27
meibion Israel. a 13, 48
5 O lwyth Iuda [yr oedd] yn seliedig ddeuddeng-mil,
o lwyth Ruben [yr oedd] yn seliedig ddeuddeng-mil, o
o lwyth Gad y seliesid deuddeng-mil.
6 O lwyth Aser y seliasid deuddeng-mil, o lwyth
Nephthalim y seliasid deuddeng-mil, o lwyth Manas-
ses y seliasid deuddeng-mil.
7 O lwyth Simeon y seliasid deuddeng-mil, o lwyth
Lefi y seliasid deuddeng-mil, o lwyth Issachar y sel-
iasid deuddeng-mil, o lwyth Zabulon y seliasid deu-
ddeng-mil.
8 O lwyth Ioseph y seliasid deuddeng-mil, o lwyth
Beniamin y seliasid deuddeng-mil.
9 s Wedi hyn mi a edrychais, ac wele dyrfa fawr, yr s Pen. 11 15
hon ni allé neb eu rhifo, o'r holl genhedlaethau a Sal. 2, 8
llwythau, a phobloedd, ac ieithoedd, yn sefyll ger
bron yr orseddfaingc, a cher bron yr Oen, a gynau
gwynion am danynt, a phalmwydd yn eu dwylo,
10 t Ac hwy a lefasant â llais uchel, gan ddywedyd, t Pen. 12 11
[Cyfrifer] Iechydwriaeth i'n Duw ni, yr hwn sydd yn 1 Cor. 15
eistedd ar yr orseddfaingc, ac i'r Oen. 57
11 A'r holl angelion a safasant o amgylch yr orsedd-
fa, ac o amgylch yr henuriaid, a'r pedwar anifail, ac
hwy a syrthiasant ger bron yr orseddfaingc ar eu
hwynebau, ac a anrhydeddasant Dduw,
12 Gan ddywedyd, Amen, moliant, a gogoniant, a u Eph. 1,
doethineb, a diolch, ac anrhydedd a gallu a nerth fyddo 6
i'n Duw ni yn dragywydd, Amen.
13 Ac un o'r henuriaid, a attebodd, gan ddywedyd
wrthif, Pwy ydyw y rhai hyn sy a gynau gwynion am
danynt? ac o ba le y daethant?
14 v Ac myfi a ddywedais wrtho ef, O Arglwydd, ti v Pen. 13
a wyddost: ac yntef a ddywedodd wrthif i: y rhai hyn 7 a 17, 6
yw y rhai a ddaethant allan o'r cystudd mawr, ac a 1 Ioan 7
olchasant eu gynau, ac a wnaethant eu gynau yn
wynion yng-waed yr Oen.
15 Am hynny y maent ger bron gorseddfaingc Dduw,
ac yn ei wasanaethu ef yn ei demi ddydd a nos, a'r un
sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, a drig yn eu plith
hwynt.
16 w Ni fydd arnynt newyn mwy, na syched mwy, w Esa. 49
ac ni syrth yr haul arnynt, na dim gwrês. 10
17 Canys yr Oen, yr hwn sydd yng-hanol yr orsedd- Sal. 23, 1
faingc a'u bugeilia hwynt, ac a'u tywys hwynt at y
ffynhonnau byw o ddyfroedd, a Duw a sych bob deigr
oddi wrth eu llygaid hwynt.

PEN. VIII.

*1 Agoryd y seithfed sêl, bod gosteg yn y nef. 6 Y pedwar angel yn canu eu hudcyrn, a phläau dirfawr ar ol hynny yn dyfod ar y ddaiar.*

A x PHAN agorodd efe y seithfed, fel yr ydoedd x Job 29 9
gosteg yn y nef yng-hylch hanner awr.
2 Ac mi a welais y saith angel y rhai oeddynt yn sefyll
ger bron Duw, a saith udcorn a roddwyd iddynt.
3 y Yna angel arall a ddaeth, ac a safodd ger bron yr y Mal. 3, 1
allor a thusser o aur ganddo, a llawer o arogl-darth Rhuf. 8 34
a roed iddo ef, i offrymmu gyd â gweddiau yr holl
sainct, ar yr allor aur, yr hon sydd ger bron yr orsedd-
faingc.
4 A mwg yr arogl-darth yng-hyd â gweddiau'r sainct,
a aethant i fynu ger bron Duw, o law'r angel.
5 A'r angel a gymmerth y thusser, ac a'i llanwodd
hi a thân o'r allor, ac a'i bwriodd i'r ddaiar, ac yr

oedd lleisiau, a tharanau, a mellt, a daiar-gryn.
6 Yna y saith angel y rhai oeddynt a'r saith udcorn
ganddynt, a wnaethant eu hunain yn barod i ganu'r
udcyrn.
7 A'r angel cyntaf a ganodd yr udcorn, ac yr ydoedd
cenllysg a thân wedi cymmyscu â gwaed, ac hwy a
fwriwyd i'r ddaiar, a thraian y coed a loscwyd, a'r holl
las-wellt a loscwyd.
z Esa. 64 8 z A'r ail angel a ganodd yr udcorn, a bwriwyd i'r
1 2 Tim. 3 môr megis mynydd mawr yn llosci a thân, a thraian y
13 môr a aeth yn waed,
2 Thes. 2 11 9 A thraian y creaduriaid y rhai oeddynt yn fyw yn
y môr, a fuant feirw, a thraian y llongau a ddinistriwyd.
10 A'r trydydd angel a ganodd yr udcorn, a seren
fawr a syrthiodd o'r nef, yn llosgi fel ffagl, ac hi a
syrthiodd i draian yr afonydd, ac i ffynhonnau y
dyfroedd.
11 A henw'r seren a elwir y wermod, am hynny try-
dedd ran y dyfroedd a aethant yn wermod, a llawer o
ddynion a fuant feirw, o waith y dyfroedd hynny, o
a Esa. 13 blegit eu gwneuthur hwynt yn chwerw.
10 12 a A'r pedwerydd angel a ganodd yr udcorn, a
Ier. 15, 9 tharawyd traian yr haul, a thraian y lleuad, a thraian
Ezec. 32 y sêr, nes tywyllu eu traian hwynt, [a tharawyd] y
7 dydd, fel na lewyrche ei draian ef, ac yn yr un modd
y nos.
13 Ac mi a edrychais, ac a glywais angel yn ehedeg
trwy ganol y nef, gan ddywedyd a llais uchel, Gwae,
gwae, gwae i'r rhai sy yn trigo ar y ddaiar, rhac y
lleisiau eraill i udcorn y tri angel y rhai ydynt etto
i udcanu.

## PEN. IX.

*1 Y pummed a'r chweched angel yn canu eu hudcyrn, y seren yn syrthio o'r nef. 8 Y locustau yn dyfod allan o'r mwg. 11 Bod y Gwae cyntaf wedi myned heibio. 14 Darfod gollwng yn rhydd y pedwar angel a oeddynt yn rhwym. 18 A lladd traian y dynion.*

b 1 Tim. 4 1, 2 A'R b pummed angel a ganodd udcorn, ac mi a welais
seren yn syrthio o'r nef i'r ddaiar, ac iddo ef y
rhoddwyd agoriad y pwll heb waelod.
2 Ac efe a agorodd y pwll heb waelod, a mwg a gyfod-
odd o'r pwll, fel mwg ffwrn fawr, a'r haul, a'r awyr a
dywyllwyd gan fwg y pwll.
3 A locustiaid a ddaethant ar y ddaiar o'r mwg allan,
a rhoddwyd awdurdod iddynt, fel y mae gan scorpion-
au'r ddaiar awdurdod.
4 A dywedwyd wrthynt, na wnaent niwed i wellt y
ddaiar, na dim glas, nac i un pren, ond yn unic i'r dyn-
ion y rhai oeddynt heb sêl Duw yn eu talcennau.
5 A [gorchymyn] a roed iddynt na laddent y rhai
hynny, ond iddynt eu blino hwynt bum mis, a bod
gofid iddynt fel y gofid a fydde o waith scorpion, pan
ddarfydde iddi frathu dŷn.
6 Ac yn y dyddiau hynny dynion a geisiant farwol-
aeth, ac ni chaffant, ac a chwennychant feirw, a mar-
wolaeth a gilia oddi wrthynt.
c Eph. 6 7 c A llun y locustiaid oedd debyg i feirch wedi eu
14 Mat. 7, 15 paratoi i ryfel, ac yr oedd ar eu pennau megis coronau
yn debyg i aur, a'u hwynebau oeddynt debyg i ddynion.
8 A gwallt oedd ganddynt, fel gwallt gwragedd, a'u
dannedd oeddynt fel dannedd llewod.
9 Ac yr oedd ganddynt lurigau, fel llurigau haiarn,
a llais eu hadenydd oedd debyg i lais cerbydau pan rede
llawer o feirch i ryfel.
10 A chynffonnau oedd iddynt fel i scorpionau, ac yn
eu cynffonnau yr oedd colynau, a'u hawdurdod hwynt
oedd i ddrygu dynion bum mis.
11 d Ac y mae ganddynt frenin arnynt yr hwn ydyw d Sal. 83 11
angel y pwll heb waelod, a'i henw ef yn Ebriw ydyw
Abad-don, ac yn Roeg efe a henwir Apolyon [sef
dinistrudd.]
12 e Un gwae a ‡ aeth heibio, ac wele, y mae dwy- e Pen. 8
wae yn dyfod wedi hyn. 13
13 A'r chweched angel a ganodd yr udcorn, ac mi a ‡ Sef. mewn
glywais lais oddi wrth bedair congl yr allor aur, yr hon perthynas i'r
sydd ger bron Duw, weledigaeth a gyhoeddwyd.
14 Yn dywedyd wrth y chweched angel, yr hwn
oedd a'r udcorn ganddo, Gollwng y pedwar angel, y
rhai ydynt yn rhwym yn yr afon Euphrates. 2 Thes. 2
15 A'r pedwar angel a ‡ ollyngwyd, y rhai a baratoas- 8 Pen. 19
id erbyn awr, erbyn diwrnod, erbyn mis, ac erbyn 20
blwyddyn, i ladd traian y dynion. ‡ Sef. y Tyrciaid
16 A rhif gwŷr meirch y rhyfel, oedd dwy fyrddiwn, yn erbyn
canys mi a glywais eu rhif hwynt. yr ang-hristianogion.
17 Ac fel hyn y gwelais i y meirch mewn gweledig- Pen 12, 16
aeth, ac yr ydoedd gan y rhai oeddynt yn eistedd ar- 1 Sam. 23
nynt, lurigau tanllyd, a rhuddion, ac o liw brwmstan, 26
a phennau'r meirch oeddent megis pennau llewod, ac
yr oedd yn myned allan o'u genau, dân a mwg a
brwmstan.
18 A thraian y dynion a las gan y tri hyn, sef gan y
tân, a'r mwg, a'r brwmstan, y rhai a ddaethant allan
o'u genau hwynt.
19 Canys eu gallu hwynt sydd yn eu genau, ac yn eu
cynffonnau, canys eu cynffonnau hwynt oeddynt
debyg i seirph, a phennau ganddynt, â rhai hyn yr
oeddynt yn drygu.
20 A'r dynion eraill y rhai ni laddwyd gan y plau au
hyn, ni chymmerasant edifeirwch am weithredoedd eu
dwylo, i beidio ac addoli cythreuliaid, a delwau aur,
ac arian, a phrês, a main, a phrennau y rhai ni allant
weled, na chlywed, na cherdded.
21 f Ac ni chymmerasant hefyd edifeirwch, am eu f Pen. 13
llofruddiaeth, na'u cyfareddion, nau'u godineb, na'u 7 Pen. 17, 2
lledrad. Luc 20,

## PEN. X. 47 Pen. 18,

*Yr angel yr hwn yr oedd y llyfr agored ganddo yn tyngu na bydde amser mwy, ac yn rhoi y llyfr i Ioan, ac yntef yn ei fwytta ef.* 15

AC g mi a welais angel cadarn arall yn descyn o'r g Pen 1
nef, wedi ei ddilladu ag wybren, ac enfys ar ei 13 Mat, 28
ben, a'i wyneb ef ydoedd fel yr haul, a'i draed ef 18
oeddent fel colofnau tân, Heb. 1, 3
2 A llyfr bychan oedd yn agored yn ei law ef, ac efe
a roddodd ei droed dehau ar y môr, a'i droed aswy ar
y ddaiar.
3 h Ac efe a lefodd â llef uchel, fel y rhua llew, ac h Amos 3
wedi darfod iddo lefain, saith daran a leisiasant eu 8 Ioel 3, 16
lleisiau.
4 i Ac wedi darfod i'r saith daran wneuthur eu lleis- i Dan 12.
iau, yr oeddwn ar fedr scrifennu, ac mi a glywais lais 4 Ier. 32, 10
o'r nef yn dywedyd wrthif, Selia y pethau a leisiodd Iob 26,
y saith daran, ac na scrifenna hwynt. 14
5 A'r angel yr hwn a welais i yn sefyll ar y môr, ac
ar y tir, a gododd ei law i'r nef,
6 Ac a dyngodd i'r hwn sydd yn byw yn dragywydd,
yr hwn a greodd y nef, a'r pethau ydynt ynddi, a'r
ddaiar, a'r pethau ydynt ynddi hi, a'r môr, a'r pethau j Dan, 2
sy ynddo ef, na fydde amser mwy. 44
7 j Ond yn nyddiau llais y seithfed angel, pan dde- a 7, 14. 27 Hos. 1. 11

chreuo efe ganu yr udcorn, diweddu a wneir dirgelwch
Duw, fel y mynegodd efe iw wasanaeth-wyr y
prophwydi.
8 A'r llais a glywais o'r nef, a lefarodd eilwaith wrth-
if, ac a ddywedodd, Dos, cymmer y llyfr bychan yr
hwn sydd yn llaw'r angel, yr hwn sydd yn sefyll ar y
môr, ac ar y tir.
kCol.3,16 9 k Ac mi a aethym at yr angel, gan ddywedyd wrtho,
Pen.17,6 Dyro i mi y llyfr bychan: ac yntef a ddywedodd wrthif
Ier. 9, 1 fi, Llyngca ef, ac efe a wna dy fol di yn chwerw, ond
efe fydd melys yn dy enau di, fel mêl,
Ier.15,16 10 l Ac mi a gymerais y llyfran o law'r angel, ac a'i
llyncais ef, ac yr ydoedd efe yn felys yn fyng-enau
megis mêl, ac wedi i mi ei lyngcu ef, fy mol a aeth yn
chwerw.
11 Ac efe a ddywedodd wrthif, Rhaid i ti brophwydo
eil-waith ym mysc y bobloedd, a'r cenhedloedd, a'r
tafodau, ac i lawer o frenhinoedd.

## PEN. XI.

1 *Ioan yn gweled mesuro'r deml, cyfodi dau dyst gan yr Ar-*
*glwydd, a'u lladd gan y bwyst-fil.* 11 *Eithr wedi hyn*
*eu derbyn i ogoniant. Derchafel Crist.* 16 *A moli Duw*
*gan y pedwar henuriad ar hugain.*

YNA y rhoed corsen i mi debyg i wialen, a'r angel
a safodd wrthif, ac a ddywedodd, Cyfot a mesur
deml Dduw, a'r allor, a'r rhai sy yn addoli ynddi hi,
2 Ond y cyntedd yr hwn sydd o'r tu allan i'r deml,
bwrw allan, ac na fesur ef, canys efe a roed i'r cenhedl-
oedd, ac hwy a sathrant tann draed y ddinas sanctaidd
m Deut. ddeu-fis a deugain.
17, 6 3 m Ac mi a roddaf [allu] i'm dau dyst, a hwy a bro-
Mat. 7,13 phwydant fil a thrugain a deu-cant o ddyddiau, wedi
eu hymwisco â sach-liain.
4 Dwy olewydden yw y rhai hyn, a dau ganhwyll-
bren yn sefyll ger bron Duw'r ddaiar.
5 Ac os ewyllysia neb wneuthur niwed iddynt, y
mae tân yn myned allan o'u genau, ac a ddinistra eu
gelynion, ac os ewyllysia neb eu drygu hwynt, fel hyn
y lleddir ef.
n 1Bren. 6 n Awdurdod sydd gan y rhai hyn i gaeu y nef, rhag
17, 1 Mat. 16 iddi lawio yn nyddiau eu prophwydoliaeth hwynt, ac
19 awdurdod sydd ganddynt ar y dyfroedd iw troi hwynt
Ier. 1, 10 yn waed, ac i daro'r ddaiar â phob pla, cyn fynyched
ac y mynnant.
o Pen. 13 7 o A phan ddarfyddo iddynt orphen eu testiolaeth,
10, 11 y bwyst-fil, yr hwn a ddaw allan o'r pwll heb waelod,
2 Thes.2 a ryfela yn eu herbyn hwy, ac a'u gorchfyga hwynt,
11 ac a'u lladd hwynt.
p Pen. 17 8 p A'u cyrph hwynt a orwedd ar heolydd y ddinas
9 Act. 9, 4 fawr, yr hon a elwir yn ysprydol Sodoma, a'r Aipht,
lle y croes-hoeliwyd ein Harglwydd ni.
q Luc 23 9 q Ac hwy o'r bobloedd, a'r llwythau, a'r ieithoedd,
35 a'r cenhedloedd a welant eu cyrph hwynt dri-diau a
hanner, ac ni ddioddefant roi eu cyrph hwynt mewn
beddau.
r Barn. 16 10 r A'r rhai ydynt yn trigo ar y ddaiar a llawenhânt
25 arnynt hwy, ac a fyddant gyssurus, ac a ddanfonant
Ester 9, roddion un at y llall, canys y ddau brophwyd hyn
22 oeddynt ofidus i'r rhai oeddent yn trigo ar y ddaiar.
s Act.4,13 11 s Ac yn ol tri-diau a hanner, yspryd y bywyd yn
dyfod oddi wrth Dduw a aiff i mewn ynddynt hwy, ac
hwy a safant ar eu traed, ac ofn mawr a syrth ar y rhai
ai gwelant hwy.
12 Ac hwy a glywsant lais mawr o'r nef, yn dywed-
yd wrthynt, Dewch i fynu ymma, ac hwy a aethant
i fynu i'r nef mewn wybren, a'u gelynnion hwy a'u
gwelsant hwy.
13 t Ac yn yr awr honno, yr ydoedd daiar-gryn mawr, t Mat. 28 2
a decfed ran o'r ddinas a syrthiodd i lawr, a seith-mil Pen.14,7
o wŷr a laddwyd yn y ddaiar-gryn, a'r lleill a ofnas-
ant, ac a roddasant ogoniant i Dduw 'r nef.
14 u Yr ail gwae a aeth heibio, ac wele, y trydydd u Pen. 15 16, 19, 20
gwae a ddaw ar frys. a 16, 1
15 v A'r seithfed angel a ganodd ar udcorn, a lleisiau v Dan. 7, 14
mawr a wnaethbwyd yn y nef, gan ddywedyd, Ein
Harglwydd ni, a'i Grist piau teyrnasoedd y byd hwn,
ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd.
16 w A'r pedwar henuriad ar hugain, y rhai oeddent w Pen. 14 4
yn eistedd ar eu cadeiriau ger bron Duw, a syrthias-
ant ar eu hwynebau, ac a addolasant Dduw:
17 x Gan ddywedyd, Yr ydym yn diolch i ti, O Ar- x Sal. 2, 1 2
glwydd Dduw holl-alluog, yr hwn wyt, yr hwn oeddit, Luc 19,
a'r hwn wyt ar ddyfod, am dderbyn o honot dy allu 14
mawr, a theyrnasu o honot.
18 y A'r cenhedloedd a lidiasant, a'th lid ti a ddaeth y Sal. 99
hefyd, ac amser i farnu'r meirw, ac i roi gwobr i'th 1
wasanaeth-wyr y prophwydi, a'r sainct, ac i'r rhai yd- Mat. 8, 29 Pen.17, 3
ynt yn ofni dy enw, bychain a mawr, ac i ddifetha o a 16, 13
honot ti y rhai ydynt yn dinistrio y ddaiar.
19 A theml Dduw oedd yn agored yn y nef, ac Arch
ei gyfammod ef a welwyd yn ei deml, ac yr oedd mellt,
a lleisiau, a tharanau, a daiar-gryn, a chenllysg mawr.

## PEN. XII.

1 *Ioan yn gweled gwraig yn ymddangos yn y nefoedd wedi ei*
*gwisco â'r haul.* 7 *Mihangel yn ymladd â'r ddraig, yr*
*hon oedd yn ymlid y wraig.* 11 *Yr oruchafiaeth a gafwyd*
*i gyssur y ffyddloniaid.*

A z RHYFEDDOD mawr a ymddangosodd yn y z 1 Cor. 7
nef, gwraig wedi ei gwisco â'r haul, a'r lleuad 30, 31
[oedd] tann ei thraed, ac ar ei phen [yr oedd] coron o
ddeuddec seren,
2 a Ac yr ydoedd hi yn feichiog, ac hi a lefodd gan a Gal.4,19
drafaelu ar ei thymp, a hi a ddoluriodd yn barod i Gen. 3,16
escor.
3 A rhyfeddod arall a ymddangosodd yn y nef, ac
wele, ddraig goch fawr â saith ben iddi, a dec corn, a
saith goron ar ei phennau.
4 b A'i chynffon hi a dynnodd draian sêr y nef, ac a'u b 1 Tim. 4 10
bwriodd hwynt i'r ddaiar, a'r ddraig a safodd ger Phil.3,18
bron y wraig, yr hon ydoedd yn barod i escor, i ddifa
ei phlentyn hi, pan esgore hi,
5 c Ac hi a escorodd ar fab gwryw, yr hwn a fugeilie c Gal.4,19
yr holl genhedloedd â gwialen haiarn, a'i mab a gym- Eph.3,17
merwyd i fynu at Dduw a'i orseddfaingc.
6 d A'r wraig a giliodd i'r diffaethwch, lle y mae man d Mat. 2 13
wedi i Dduw ei baratoi iddi, fel y gallent ei phorthi hi Pen.11,3
yno fil a thrugain a deucant o ddyddiau.
7 e A rhyfel oedd yn y nef, Mihangel a'i angelion a e Ioan 16 33
ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a refelodd â'i Eph 6, 12
angelion ef.
8 f Ond ni orchfygasant, ac ni chafwyd eu lle hwynt f Luc 10 18
o hynny allan yn y nef. Ioan 12
9 g A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarph, yr 31
hon a elwir diafol, a Satan, yr hwn sydd yn twyllo'r g Col. 2 15
holl fyd, efe a fwriwyd i'r ddaiar, a'i angelion a fwr- Eph. 2, 2
iwyd allan gyd âg ef.
10 Ac mi a glywais lais uchel yn dywedyd o'r nef,
Yr awr hon y mae iechyd, a nerth a theyrnas ein Duw
ni, a gallu ei Grist ef, canys cyhuddwr ein brodyr ni
a fwriwyd i'r llawr, yr hwn ydoedd yn eu cyhuddo

hwynt ger bron ein Duw ddydd a nos.
h Luc 14 26 11 h Ac hwy a'i gorchfygasant ef trwy waed yr Oen,
Act. 20, 24 a thrwy air eu testiolaeth hwynt, ac ni charasant eu
Heb 11 35 bywyd hyd farwolaeth.
12 Am hynny llawenhewch y nefoedd, a'r sawl sy
yn trigo ynddynt hwy: gwae y rhai sy yn trigo ar y
ddaiar, a'r môr, canys diafol a ddescynnodd attoch
chwi, yr hwn sydd a llid mawr ganddo, o herwydd
gwybod mai ychydig amser sydd iddo ef.
13 A phan welodd y ddraig ei bwrw i'r ddaiar, ym-
lid a wnaeth hi y wraig a esgorodd ar y mab.
i Ioan 15 15 14 i A dwy aden eryr mawr a roddwyd i'r wraig, fel
j Bren 19 18 yr ehede hi i'r diffaethwch, i'w lle ei hun, lle yr ydys
yn ei magu hi tros amser, ac amseroedd, a hanner am-
ser, rhag wyneb y sarph.
15 A'r sarph a fwriodd o'i safn allan ar ol y wraig
ddwfr fel afon, ar fedr cael ei dwyn hi ffwrdd gyd â'r
afon.
16 A'r ddaiar a helpiodd y wraig, a'r tir a agorodd
ei enau, ac a lyngcodd yr afon, yr hon a fwriodd y
ddraig allan o'i safn.
j Gen 3 15 17 j A llidio a wnaeth y ddraig wrth y wraig, a
Luc 15 32 myned i ryfela yn erbyn gweddillion ei hiliogaeth hi,
Zec 3 1 y rhai ydynt yn cadw gorchymynnion Duw, ac sy â
thestiolaeth Iesu Grist ganddynt.
18 Ac hi a safodd ar dywod y môr.

## PEN. XIII.

*Bwyst-fil arall trwy help y cyntaf, 24 Yn twyllo y rhai gwrthodedig. 17 Braint a nod y bwyst-fil.*

AC mi a welais fwystfil yn codi o'r môr, a saith ben
ganddo, a dec corn, ac ar ei gyrn ef ddec coron,
ac ar ei bennau ef henw cabledd.
k Dan 7. 3 2 k A'r bwystfil yr hwn a welais i oedd debyg i lew-
pard, a'i draed yn debyg i draed arth, a'i safn yn debyg
Hab 1,15 i safn llew, a'r ddraig a roddodd iddo ef ei gallu a'i
gorsedd-faingc, ac awdurdod mawr.
3 Ac mi a welais un oi bennau ef megis wedi ei ladd
yn farw, a'i glwyf marwol ef a iachawyd, a'r holl fyd
a ryfeddodd ar ol y bwystfil.
1 Thes 2 4 4 l A hwy a addolasant y ddraig yr hon a roes allu i'r
Act 8, 9 bwyst-fil, ac a addolasant y bwyst-fil, gan ddywedyd,
Pwy sydd debyg i'r bwyst-fil? pwy a ddichon ryfela
âg ef?
5 A genau a roddwyd iddo ef i ddywedyd mawr
eiriau, a chabledd, ac awdurdod a roddwyd iddo ef, i
weithio dau fis a deugain.
m Dan 7 25 6 m Ac efe a agorodd ei enau mewn cabledd yn erbyn
Duw, i gablu ei enw ef, a'i dabernacl a'r rhai trigad-
wy yn y nef.
n 1 Thes 2 10 7 n A rhoddwyd hefyd iddo ef ryfela â sainct, a'u
gorchfygu hwynt, a rhoddwyd iddo ef awdurdod ar
bob llwyth, ac iaith, a chenedl.
8 o A holl drigolion y ddaiar a'i haddolant ef, y rhai
o Pen 7,3 nid yw eu henwau yn scrifennedig yn llyfr bywyd yr
Oen, yr hwn a laddwyd er dechreuad y byd.
9 Y neb sydd a chlust ganddo, gwrandawed.
10 p Os tywys neb i gaethiwed, efe a aiff i gaethiwed,
p Mat 7. 2 os lladd neb â chleddyf, â chleddyf y lleddir yntef:
dymma amynedd, a ffydd y sainct.
Esa 33, 1 11 Ac mi a welais fwyst-fil arall yn codi o'r ddaiar,
a dau gorn oedd ganddo yn debyg i oen, ond yr oedd
yn dywedyd fel draig.
12 Ac efe a wnaeth yr hyn a alle y bwyst-fil cyntaf
oll o'i flaen ef, ac efe a wnaeth i'r ddaiar, ac i'r rhai
oeddent yn trigo ynddi, addoli y bwyst-fil cyntaf, yr
hwn yr iachausid ei glwyf marwolaethus.
13 q Ac efe a wnaeth ryfeddodau mawrion, yn gym- q Act 8, 9
maint ag y parе efe i dân ddescyn o'r nef i'r ddaiar yn Mat 24 24
ngolwg dynion.
14 r Ac efe a dwyllodd drigolion y ddaiar gan yr ar- r Pen 19 20
wyddion y rhai a ddioddefwyd iddo ef eu gwneuthur Gal 3, 1
ger bron y bwyst-fil, gan ddywedyd wrth drigolion y Dan 3, 4 6
ddaiar, am iddynt wneuthur delw y bwyst-fil, yr hwn
a glwyfwyd â chleddyf, ac a aeth yn fyw.
15 Cyniatawyd iddo ef hefyd roddi anadl i ddelw y
bwyst-fil, fel y gallai delw y bwyst-fil lefaru, a pheri
lladd cynnifer un ac na addole ddelw y bwyst-fil.
16 s Ac efe a wnaeth i bawb, bychain a mawr, cyf- s Esa 3 5
oethogion a thlodion, rhyddion a chaethion, dderbyn
nôd yn eu dwylo dehau neu yn eu talcennau,
17 Ac na alle neb na phrynu na gwerthu, ond yr
hwn a gymmere nôd, neu henw y bwyst-fil, neu rif ei
henw ef.
18 t Dymma ddoethineb, y sawl sydd ganddo synwyr, t Dan 6 26 27
cyfrifed rif y bwyst-fil, canys rhif dyn ydyw, a'i rif 1 Cor 14 20
ydyw chwe-chant, a chwech a thrugain.

## PEN. XIV.

*1 Rhagorol fintai'r Oen, 6 Yr angel yn mynegi yr Efengyl, 8 Un arall yn mynegi am gwymp Babylon, 9 A'r trydydd yn rhybuddio ffoi rhag y bwystfil. 13 Am ddedwyddwch y sawl sydd yn meirw yn yr Arglwydd, 18 Ac am gynhaiaf yr Arglwydd.*

AC u mi a edrychais, ac wele Oen yn sefyll ar fyn- u Sal 2 6
ydd Sïon, a chyd ag ef bedair mil a saith ugein- Esa 33 20
mil, a chanddynt henw ei Dad ef yn scrifennedic yn
eu talcennau hwynt.
2 Ac mi a glywais lais o'r nef, fel llais llawer o ddyfr-
oedd, ac fel llais taran fawr, ac mi a glywais lais telyn-
orion yn canu ar eu telynau.
3 Ac hwy a ganasant fel caniad newydd ger bron yr
orsedd-faingc, a cher bron y pedwar anifail, a'r henur-
iaid, ac ni alle neb ddyscu y caniad hwnnw, ond y
pedair mil, a'r saith ugein mil, y rhai a brynasid o'r
ddaiar.
4 v Y rhai hyn ydynt y sawl ni halogwyd â gwrag- v Pen 17 2
edd, canys gweryfon ydynt, y rhai sy yn dilyn yr Oen Can 2 3
pa le bynnag yr aiff, y rhai a brynwyd oddi wrth
ddynion, yn flaen-ffrwyth i Dduw, ac i'r Oen.
5 Ac ni chaed twyll yn eu genau hwynt, canys y
maent yn ddifai ger bron gorsedd-faingc Duw.
6 w Ac mi a welais angel arall yn ehedeg trwy ganol w Rhuf 16
y nef, ac Efengyl dragywyddol ganddo i bregethu i'r 11 a 15 19
rhai oeddent yn trigo ar y ddaiar, ac i bob cenhedl-
aeth, a llwyth, ac iaith, a phobl,
7 x Gan ddywedyd â llais uchel, Ofnwch Dduw, a x Act 17 30
rhoddwch anrhydedd iddo ef, canys awr ei farn ef a
ddaeth, ac addolwch yr hwn a wnaeth nef a daiar, a'r
môr, a ffynhonnau y dyfroedd.
8 Ac Angel arall a ddilynodd gan ddywedyd, Syrth-
iodd, syrthiodd Babylon y ddinas fawr, canys hi a
wnaeth i'r holl genhedloedd yfed o win llid ei godi-
neb hi.
9 y A'r trydydd angel a'u dilynodd hwynt, gan ddy- y 2 Cron 36 15
wedyd â llef uchel, Os addola neb y bwyst-fil a'i ddelw 2 Pedr 3 9
ef, ac os derbyn ei nôd ef yn ei dalcen, neu yn ei law, z Iago 2 13
10 z Hwnnw a ŷf o win digofaint Duw, yr hwn a Sal 75 8
gymmyscwyd o win pur mewn phiol ei ddigofaint ef, Esa 50 33
ac ef a boenir mewn tân a brwmstan yng-olwg yr ang- a Esa 34 10
elion sanctaidd, ac yng-olwg yr Oen. Pen 19 3
11 a A mwg eu poenedigaeth hwynt a aiff i fynu yn Esa 66 24 a 27 7

dragywydd, ac ni chânt orphwysfa na dydd na nos, y
rhai a addolant y bwyst-fil, a'i ddelw ef, a phwy byn-
nag a dderbynnio brint ei henw ef.
b Pen 13 12 [b] Dymma amynedd y sainct, dymma y rhai sy yn
10 Rhuf 15 cadw gorchymynnion Duw, a ffydd Iesu.
4 c Act 3 19 13 [c] Ac mi a glywais lais o'r nef yn dywedyd wrthif,
Luc 16 Scrifenna, gwyn eu byd weithian y meirw, y rhai sy
25 yn meirw yn yr Arglwydd, felly y dywed yr Yspryd,
canys y maent yn gorphwyso oddi wrth eu poen, ac y
mae eu gweithredoedd yn eu dilyn hwynt.
d Pen 18 14 [d] Ac mi a edrychais, ac wele gwmwl gwyn, ac ar
8 y cwmwl un yn eistedd yn debyg i Fab y dyn, ac ar
Esa 18 5 ei ben goron o aur, ac yn ei law grymman llym.
15 Ac angel arall a ddaeth allan o'r Deml, gan lefain
â llef uchel wrth yr hwn oedd yn eistedd ar y cwmwl,
Dod di i mewn dy grymman, a meda, canys daeth am-
ser medi, am fod cynhaiaf y ddaiar yn addfed.
e Sal 12 5 16 [e] A'r hwn oedd yn eistedd ar y cwmwl, a fwriodd
Luc 18 17 ei grymman ar y ddaiar, a'r ddaiar a fedwyd.
17 Ac angel arall a ddaeth allan o'r Deml, yr hon
sydd yn y nef, a chanddo hefyd grymman llym.
18 Ac angel arall a ddaeth allan oddi wrth yr allor,
yr hwn oedd a gallu ganddo ar y tân, ac a lefodd â
llef uchel ar yr hwn oedd a'r crymman llym ganddo,
gan ddywedyd, Bwrw i mewn dy grymman llym, a
chascl gangheunau gwinllan y ddaiar, canys y mae ei
grawn hi yn addfed.
f Esa 66 19 [f] A'r angel a fwriodd ei grymman llym ar y ddaiar
24 ac a dorrodd i lawr win-wydd gwinllan y ddaiar, ac
a'u bwriodd hwynt i gerwyn fawr digofaint Duw.
g Barn 9 20 [g] A'r gerwyn a wascwyd allan o'r ddinas, a gwaed
27 a ddaeth allan o'r gerwyn, cyfiwch â ffrwynau y
Esa 63 3 meirch, ar hyd mil a chwe chant stad.

## PEN. XV.

*1 Ioan yn gweled saith Angel a chanddynt y saith bla diweddaf. 3 Caniad y rhai a orchfygasant y bwyst-fil. 7 Y saith phiol yn llawn o ddigofaint Duw.*

AC mi a welais arwydd arall mawr yn y nef a rhyf-
edd, saith angel a chanddynt y saith blâ diweddaf,
canys llid Duw a gyflawnwyd drwyddynt hwy.
h Luc 12 2 [h] Ac mi a welais megis môr o wydr, wedi ei gym-
49 mysgu â thân, a'r sawl a orchfygasant y bwystfil,
Ezec 39 a'i ddelw, ai nôd, a rhif ei henw ef, yn sefyll ar lann
6 y môr o wydr, â thelynau Duw ganddynt.
i Ecs 15 1 3 [i] Ac hwy a ganasant ganiad Moses gwasanaethwr
Duw, a chanuiad yr Oen, gan ddywedyd, Mawr a rhy-
fedd yw dy weithredoedd, O Arglwydd Dduw holl-
alluog, cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd di Brenin y
sainct.
j Esa 66 4 [j] Pwy ni'th ofna di, O Arglwydd, ac ni ogonedda
23 dy enw? canys ti yn unic wyt sanctaidd, a'r holl gen-
Sal 72 8 hedloedd a ddeuant ac a addolant ger dy fron di,
canys dy farnau di ydynt gyhoeddus.
k Ecs 25 5 [k] Ac yn ol hyn mi a edrychais, ac wele, yr ydoedd
21 Teml pabell y destiolaeth yn agored yn y nef.
Heb 9 3 6 [l] A'r saith angel a ddaethant allan o'r Deml, y rhai
4 oeddent a'r saith bla ganddynt, a'u dillad oedd liain pur
l Amos 1 loiw, ac wedi eu gwregysu ynghylch eu bronnau â
2 gwregysau o aur.
m Ier 25 7 [m] Ac un o'r pedwar anifail a roddodd i'r saith ang-
15 el saith phiol aur yn llawn o ddigofaint Duw, yr hwn
Pen 14 8 sydd yn byw yn dragywydd.
10 8 Ac yr ydoedd y deml yn llawn o fwg gogoniant
Duw, a'i allu, ac nid oedd neb yn abl i fyned i mewn
i'r Deml, nes darfod cyflawni saith bla y saith angel.

## PEN. XVI.

*1 Yr angylion yn tywallt eu phiolau yn llawn digofaint, 6 A pha bla sydd yn dyfod o hynny, 15 Rhybydd i ymochelyd a gwilied.*

AC mi a glywais lef uchel allan o'r Deml yn dy-
wedyd wrth y saith angel, Ewch i ffordd, a thy-
welltwch allan saith phiol digter Duw ar y ddaiar.
2 [n] A'r cyntaf a aeth, ac a dywalltodd ei phiol ar y n 2 Bren
ddaiar, a chornwyd drwg a dolurus a syrthiodd ar y 10 27 28
gwŷr y rhai oeddynt a nôd y bwyst-fil arnynt, ac ar y
rhai a addolasent ei ddelw ef.
3 [o] A'r ail angel a dywalltodd ei phiol ar y môr, ac o Pen 8 8
efe a aeth fel gwaed celain, a phob peth byw yn y môr Gal 5 4
a fu farw.
4 A'r trydydd angel a dywalltodd ei phiol allan ar yr
afonydd, a ffynhonnau 'r dyfroedd, ac hwy a aethant
yn waed.
5 [p] Ac mi a glywais angel y dyfroedd yn dywedyd, p Pen 19
O Arglwydd yr wyt yn gyfiawn, yr hwn wyt, ac yr 2 a 15 3
hwn a fuost, y Sanctaidd, o herwydd i ti farnu y
pethau hyn.
6 [q] Canys hwy a dywalltasant waed y sainct, a'r q Mat 7 2
prophwydi, ac am hynny y rhoddaist iddynt waed i
yfed: [felly] y maent yn heuddu.
7 Ac mi a glywais un arall o'r allor yn dywedyd,
Ië Arglwydd Dduw holl-alluog, cywir a chyfiawn yw
dy farnau di.
8 A'r pedwerydd angel a dywalltodd allan ei phiol
ar yr haul, a galtu a roed iddo i boethi dynion trwy
dân.
9 A'r dynion a boethasant gan wrês mawr, ac a gabl-
asant henw Duw, yr hwn sydd ag awdurdod ganddo
ar y plaau hyn, ac ni chymerasant edifeirwch i roi
gogoniant iddo ef.
10 [r] A'r pummed angel a dywalltodd allan ei phiol r Pen 17
ar orseddfaingc y bwyst-fil, a'i deyrnas ef a aeth yn 9 a 13 2
dywyll, ac hwy a gnoasant eu tafodau gan ddolur.
11 Ac hwy a gablasant Dduw y nef, gan eu poenau,
a chan eu cornwydydd, ac ni chymmerasant edifeirwch
am eu gweithredoedd.
12 A'r chweched angel a dywalltodd allan ei phiol
ar yr afon fawr Euphrates, a'i dwfr hi a sychodd, fel
y gellid paratoi ffordd i frenhinoedd y dwyrain.
13 [s] A mi a welais dri yspryd aflan yn debyg i lyffaint, s Pen 18
yn dyfod allan o enau 'r ddraig, ac allan o enau y 2
bwyst-fil, ac allan o enau 'r prophwydi ffeilsion. Zec 13 2
14 [t] Canys ysprydion cythreuliaid ydynt, yn gwneuth- t 1 Bren
ur gwrthiau, i fyned at frenhinoedd y ddaiar, a'r holl 22 22
fyd, i'w casclu hwynt i ryfel y dydd mawr hwnnw y Pen 17 2
Duw holl-alluog.
15 Wele yr wyf fi yn dyfod fel lleidr, gwyn ei fyd
yr hwn a wilio, ac a gadwo ei ddillad, rhag iddo
rodio yn noeth, a rhag gweled ei warth ef.
16 [u] Ac efe a'u casclodd hwynt yng-hyd i le a elwir u Ioel 3
yn Ebryw, Arma-gedon. 14
17 A'r seithfed angel a dywalltodd allan ei phiol i'r
awyr, a llef uchel a ddaeth allan o deml y nef, oddi
wrth yr orseddfaingc yn dywedyd, Fe a ddarfu.
18 [v] Ac yr oedd lleisiau, a tharanau, a mellt, ac yr v 1 Cor 15
oedd daiargryn mawr ar y ddaiar, cyfryw na buer pan 52
y mae dynion ar y ddaiar, cymaint yr ddaiar-oedd
gymmaint.
19 [w] A rhannu a wnaethwyd y ddinas fawr yn dair w Pen 17
rhan, a syrthio a wnaeth dinasoedd y cenhedloedd, a 20
Babylon fawr a ddaeth mewn cof ger bron Duw, a 11 13
Hag 2 2

i roddi iddi gwppan gwin digofaint ei lid ef.
x Pen 6 20 x A phob ynys a ffodd ymaith, ac ni chafwyd y
14 Esa 2 21 mynyddoedd,
y Ios 10 21 y A syrthio a wnaeth cenllysc mawr fel talentau
11 Luc 21 o'r nef ar y dynion, a'r dynion a gablasant Dduw am
28 blâ'r cenllysc, canys mawr dros ben oedd eu plâ hwynt.

## PEN. XVII.

*3 Ioan yn gweled dinistr y buttain fawr. 8 Ei phechodau a'i phoenedigaeth. 14 A goruchafiaeth yr Oen.*

AC un o'r saith angel oedd a'r saith phiol ganddo a
ddaeth, ac a ymddiddanodd â mi, gan ddywedyd
wrthif, Tyret, mi a ddangosaf i ti farnedigaeth y but-
tain fawr, yr hon sydd yn eistedd ar lawer o ddyfroedd.
z Pen. 18 2 z Gyd a'r hon y mae brenhinoedd y ddaiar wedi
9 godinebu, a phresswyl-wyr y ddaiar wedi meddwi ar
Ezec. 16 25. win ei godineb hi.
3 Ac efe am dygodd i yn yr yspryd i'r diffaethwch,
ac mi a welais wraig yn eistedd ar fwyst-fil un lliw ag
scarlad, yn llawn o henwau cabledd, a saith pen gan-
ddo, a dec corn.
4 A gwisg y wraig oedd borphor, ac scarlat, ac wedi
ei goreuro ag aur, a main gwerthfawr, ac â pherlau, a
chwppan o aur oedd ganddi yn ei llaw yn llawn o
a Esa. 3, 9 ffiaidd-dra, a brynti ei godineb hi.
2 Thes. 2 5 a Ac yn ei thalcen yr ydoedd henw yn scrifennedig,
7, 9 Dirgelwch, Babylon fawr, mam putteindra, a ffieidd-
dra'r ddaiar.
b Pen. 13 6 b Ac mi a welais y wraig yn feddw gan waed y
7 sainct, a chan waed merthyron Iesu, a phan welais i
hi, mi a ryfeddais â rhyfeddod mawr.
7 A'r angel a ddywedodd wrthif, Pa ham yr wyt yn
rhyfeddu? mi a ddangosaf i ti ddirgelwch y wraig, a'r
bwyst-fil yr hwn sydd yn ei dwyn hi, yr hwn sydd â
saith ben ganddo, ac â dec corn.
8 Y bwyst-fil a welaist, a fu ac nid ydyw, ac efe a
ddaw i fynu o'r pwll heb waelod, ac efe a aiff i golled-
igaeth, a rhai sy'n trigo ar y ddaiar, a ryfeddant (y rhai
nid yw eu henwau yn scrifennedig yn llyfr y bywyd
er dechreu'r byd) pan edrychant ar yr bwyst-fil yr
hwn ydoedd, ac nid ydyw, ac etto y mae.
9 Dymma'r meddwl, yr hwn sydd a doethineb gan-
ddo: y saith ben saith mynydd ydynt, ar y rhai y
mae'r wraig yn eistedd, y maent hefyd yn saith frenin.
c Pen. 15 10 c Pump a syrthiasant, ac un sydd, ac un arall heb
5 2 Pedr 3 ddyfod etto: a phan ddel efe, rhaid iddo barhau ych-
8 ydig o amser.
11 A'r bwyst-fil yr hwn a fu, ac nid ydyw, efe yw'r
wythfed, ac y mae yn un o'r saith, ac yn myned i
ddestruw.
‡ Sef, teyrnas. 12 A'r dec corn a welaist, dec ‡ brenin ydynt, rhai ni
chawsant etto frenhiniaeth, ond hwy a gânt awdurdod
Pen. 11 fel brenhinoedd megis un awr gyd â'r bwyst-fil.
d Gen. 49 13 d Yr un cyngor sydd i'r rhai hyn, ac hwy a rodd-
5 Sal. 83 5 ant eu nerth a'u hawdurdod i'r bwyst-fil.
e Act 9, 4 14 e Y rhai hyn a ryfelant â'r Oen, a'r Oen a'u gorch-
Pen. 11, 7 fyga hwynt, canys efe ydyw Arglwydd arglwyddi,
a 13, 7 a Brenin brehinoedd, a'r rhai sy ar ei blaid ef, hwy a
alwyd, ac a ddetholwyd, a ffyddlon ydynt.
15 Ac efe a ddywedodd wrthif, Y dyfroedd y rhai a
welaist ti, lle y mae'r buttain yn eistedd, pobl ydynt,
a gwerin, a chenhedloedd, ac ieithoedd.
16 A'r dec corn a welaist ti ar y bwyst-fil, yw y rhai
a gashânt y buttain, ac ai gwnant hi yn unic, ac yn
f Pen 11 noeth, ac a fwyttant ei chig hi, ac a'i lloscant hi â thân.
2 17 f Canys Duw a roddodd yn eu calonnau gyflawni
ei ewyllys ef, a gwneuthur trwy gyd undeb, a rhoddi
eu teyrnas i'r bwyst-fil, hyd oni gyflawnir geiriau Duw.
18 A'r wraig a welaist, dinas fawr ydyw, yr hon sydd
yn teyrnasu ar frenhinoedd y ddaiar.

## PEN. XVIII.

*Ioan yn gweled fod y rhai sy yn caru'r byd yn dristion am gwymp y buttain o Babylon. 4 Rhybydd i bobl Dduw i gilio allan o'i harglwyddiaeth hi. 20 Eithr y rhai sy o Dduw, sydd ag achos iddynt i lawenychu am ei dinistr hi.*

AC g yn ol hyn, mi a welais angel arall yn dyfod i g Pen. 11
lawr o'r nef, ac awdurdod mawr ganddo, a goleu- 19
odd y ddaiar gan ei ogoniant ef.
2 h A llefain a wnaeth efe yn gryf â llais uchel, gan h Mat. 12
ddywedyd, Syrthiodd, syrthiodd Babylon fawr honno, 43
ac y mae hi yn drigle i'r cythreuliaid, a chadwriaeth
pob yspryd aflan, a chadwriaeth pob aderyn aflan
ac atcas.
3 i Canys yr holl genhedloedd a yfasant o win dig- i 2 Pedr 2
ofaint ei godineb hi, a brenhinoedd y ddaiar a wnaeth- 3 2 Cor 2, 17
ant odineb â hi, a marsiandwyr y ddaiar a aethant yn 1 Tim. 5
gyfoethogion gan amlder ei moethe hi. 22
4 Ac mi a glwyais lais arall o'r nef yn dywedyd, Ewch
allan o honi hi fy mhobl, rhag i chwi fod yn gyfrannog
o'i phechodau, ac rhag i chwi dderbyn cyfran o'i
phlâuau hi.
5 j Canys ei phechodau hi a gyrhaeddaesant hyd y j Gen. 18
nef, a Duw a gofiodd ei hanwiredd hi. 20, 21
6 Telwch iddi fel y talodd hi i chwi, a rhoddwch
iddi y dau-cymmaint yn ol ei gweithredoedd hi, yn y
cwppan y llanwodd hi i chwi, llenwch iddi hi yn
ddwbl.
7 k Cymmaint ac y gogoneddodd hi ei hun, ac y bu k 2 Thes
hi mewn moethe, yn yr un-modd rhoddwch iddi ofid a 2, 5
thristwch, canys y mae hi yn dywedyd yn ei chalon,
Yr wyf yn eistedd yn frenhines, ac nid wyf yn weddw,
ac ni welaf ddim galar:
8 Am hynny yn yr un dydd y daw ei phlâuau hi, sef
marwolaeth, a thristwch, a newyn, a hi a losgir a thân,
canys cadarn yw'r Arglwydd Dduw yr hwn a'i barna hi.
9 l Brenhinoedd y ddaiar a wylant am dani hi, ac a l Ezec. 26
alarant, y rhai a wnaethant odineb, ac a fuant fyw yn 7 a 7, 14
foethus gyd â hi, pan welant fwg ei llosciad hi.
10 Ac hwy a safant ym mhell oddi wrthi gan ofn ei
gofid hi, gan ddywedyd, Gwae, gwae y ddinas fawr
honno Babylon, y gaer gadarn, canys mewn un awr y
daeth dy farn di.
11 A marsiandwyr y ddaiar a wylant, ac a dristant
am deni hi, canys nid oes neb yn prynu eu marchnad-
aeth hwynt mwyach.
12 Marsiandiaeth o aur, ac arian, a meini gwerthfawr,
a pherlau, a lliain main, a phorphor, a sidan, ac scar-
lat, a phob rhyw goed thynon, a phob llestr o ddaint
yr elephant, a phob llestr o goed gwerthfawr, ac o bres,
ac o haiarn, ac o faen marmor.
13 m Ac o sinamon, ac arogiau, ac ennaint, a thus, a m 2 Pedr
gwin, ac olew, a pheillied, a gwenith, ac yscrybliaid, 2, 3
a defaid, a meirch, a cherbydau, a gwasanaethwyr, ac
eneidiau dynion.
14 n A'r aeron a ddesyfiodd dy enaid ti, a ymadaw- n Gen 3 6
sant â thi, a'r holl bethau breision, a gwychion a Levit. 25
aethant i ffordd oddi wrthit, ac ni chei hwynt mwyach.
15 Marsiand-wyr y pethau hyn, y rhai a ymgyfoeth-
ogasant, a safant ym mhell oddi wrthi, rhag ofn ei
gofid hi, gan wylo ac ochain.
16 A chan ddywedyd, Gwae, gwae y ddinas fawr yr

hon a ddilladwyd mewn lliain main, a phorphor, ac
scarlat, ac wedi ei goreuro ag aur, a meini gwerth-
fawr, a pherlau.
17 Canys mewn un awr cymmeint o gyfoeth a an-
rheithiwyd, a phob llywydd, a holl werin llongau, a
llongwyr, a phwy bynnag ydynt yn gweithio ar y mor,
o Esa. 34 a safasant o bell,
10 18 o Ac a lefasant, pan welsant fwg ei llosciad hi,
Pen.9,20 gan ddywedyd, Pa un oedd debyg i'r ddinas fawr hon?
19 Ac hwy a fwriasant lwch ar eu pennau, ac a lefas-
ant gan wylo, ac ochain, a dywedyd, Gwae, gwae y
ddinas fawr, yn yr hon y cyfoethogwyd y rhai oedd-
ynt a llongau ganddynt ar y mor, trwy ei chost hi,
canys mewn un awr, hi a anrheithiwyd.
20 Y nef, llawenha o'i phlegit, a'r apostolion sanct-
aidd, a'r prophwydi, canys dialodd Duw trosoch chwi
arni hi.
p Jer. 51 63 21 p Ac yna un angel cadarn a gododd faen megis
Sal.37,36 maen melin, ac a'i bwriodd i'r mor, gan ddywedyd, A'r
fath ruthr a hyn y bwrir y ddinas fawr Babylon, ac ni
cheir y hi mwy.
22 Ac ni chlywir ynot ti mwy lais telynorion, a
cherddorion, a phibyddion, ac udcanwyr, ac ni cheir
un crefftwr o ba grefft bynnag fyddo ynot ti mwy, ac
ni chlywir llais maen melin ynot ti mwy.
q Nah. 3 23 q Ac ni welir goleuad cannwyll ynot ti mwy, ac ni
16 chlywir llais priod-fab, a phriodas-ferch ynot ti mwy,
Esa. 23,8 canys dy farsiand-wyr di oeddent bendefigion y ddaiar,
ac â'th gyfareddion y twyllwyd yr holl genhedloedd.
r Sal.9,12 24 r Ac ynddi hi y caed gwaed y prophwydi, a'r
Mat. 23 34 sainct, a phawb ar a laddwyd ar y ddaiar.

## PEN. XIX.

*Ioan yn clywed rhoi moliant i Dduw am farnu'r buttain, ac am ddial gwaed ei weision. 10 Ni fyn yr anwir addoli. 17 Yr ydys yn galw'r ehediaid a'r adar i'r lladdfa.*

s Pen. 11 18 AC yn ol hyn, mi a glywais lef uchel gan dyrfa
Sal.119,2 fawr yn y nef yn dywedyd, Halelu-Iah, iechyd a
5 gogoniant, ac anrhydedd, a gallu a fyddo i'r Arglwydd
ein Duw ni.
2 Canys cywir a chyfiawn ydyw ei farnau ef, canys
efe a farnodd y buttain fawr, yr hon a lygrodd y ddaiar
â'i godineb, ac a ddialodd waed ei weision ar ei llaw hi:
t Esa. 34 3 t Ac eil-waith hwy a ddywedasant, Halelu-Iah, a'i
10 mwg hi a gododd yn dragywydd.
4 A'r pedwar henuriad ar hugain, a'r pedwar anifail
a syrthiasant i lawr, ac a addolasant Dduw, yr hwn
oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, gan ddywedyd,
Amen, Halelu-Iah.
5 A llais a ddaeth allan o'r orsedd-faingc yn dywed-
yd, Moliennwch ein Duw ni ei holl weision ef, a'r rhai
ydych yn ei ofni ef, bychain a mawrion hefyd.
u Sal. 72 6 u Ac mi a glywais lais fel tyrfa fawr ac fel llais
8 llawer o ddyfroedd, ac fel llais taranau cedyrn yn
Dan.7,14 dywedyd, Halelu-Iah, canys ein Harglwydd Dduw
holl-alluog a aeth yn Frenin.
v Rhuf 11 7 v Llawenychwn a gorfoleddwn, a rhoddwn ogoniant
25 iddo ef, o blegit dyfod priodas yr Oen, a'i wraig ef a
ymbarattodd.
w Eph.5, 8 w A caniattawyd iddi ymwysco â lliain main pur
26 a disclaer, canys y lliain main ydyw cyfiawnder y sainct.
x Rhuf.8 9 x Ac efe a ddywedodd wrthif, Scrifenna, Bendigedig
30 yw y rhai a elwir i swpper neithior yr Oen, ac efe a
ddywedodd wrthif, Y geirian hyn i Dduw ydynt wir.
y Act.10 10 y Ac mi a syrthiais ger bron ei draed ef, iw addoli
25 a 14,14 ef, ac efe a ddywedodd wrthif, Ymogel rhag gwneuth-
ur hynny, cydwasanaethwr wyf fi i ti, ac i'th frodyr, y
rhai y mae ganddynt destiolaeth Iesu, addola Dduw,
canys testiolaeth Iesu ydyw Yspryd y brophwydoliaeth.
11 z Ac mi a welais y nef yn agored, ac wele farch z Pen. 1
gwyn, a'r hwn a eisteddodd arno a elwid Ffyddlon a 15
chywir, ac y mae efe yn barnu, ac yn rhyfela yn gyfiawn.
12 a A'i lygaid ef oeddent fel fflam dân, ac ar ei ben a Sal.72 8
ef yr oedd llawer o goronau: ac yr ydoedd ganddo Ioan 1,18
henw yn scrifenedig, yr hwn nid adnabu neb, ond
efe ei hun.
13 b Ac ef a ddilladwyd â gwisc wedi ei throchi b Esa. 63
mewn gwaed, a'i henw ef a elwir Gair Duw, 1
14 c A'r rhyfelwyr oeddent yn y nef, a'i dilynasant ef c 2Thes.1
ar feirch gwynion, wedi ymwisco â lliain main gwyn 7,10
a glân.
15 d Ac o'i enau ef yr aeth allan gleddyf llym, i daro d Pen. 1
ag ef y cenhedloedd, canys efe a'u rheola hwynt â 16
gwialen haiarn, ac efe yw yr hwn sydd yn sathru cer- Pen. 14,
wyn win digofaint a llid Duw holl-alluog. 20 Esa 63. 3
16 e Ac y mae ganddo yn ei wisc, ac ar ei forddwyd e 1Tim.6
henw scrifennedig, Brenhin y brenhinoedd, ac Ar- 15
glwydd yr arglwyddi:
17 f Ac mi a welais angel yn sefyll yn yr haul, yn f 1Sam.17
llefain â llef uchel, gan ddywedyd wrth yr holl adar y 44
rhai oeddent yn ehedeg trwy ganol y nef, Deuwch,
ac ymgynhullwch yng-hyd i swpper y Duw mawr,
18 g Fel y galloch fwytta cig brenhinoedd, a chig g Pen. 16
pen-captenniaid, a chig gwyr cedyrn, a chig meirch, 14
a'r rhai ydynt yn eistedd arnynt, a chig gwyr rhyddion Ezec, 39
a chaethion, a bychain a mawrion oll. 4
19 Ac mi a welais y bwyst-fil, a brenhinoedd y
ddaiar, a'u rhyfel-wyr wedi ymgynnull ynghyd i ryfela
yn erbyn yr hwn oedd yn eistedd ar y march, ac yn
erbyn ei fil-wyr.
20 Ond y bwyst-fil a ddaliwyd, a'r prophwyd ffals
gyd ag ef yr hwn a wnaeth wyrthiau ger ei fron ef,
trwy y rhai y twyllodd efe y rhai a dderbynniasent
nod y bwyst-fil, a'r rhai a addolasent ei ddelw ef, y
ddau hyn a fwriwyd yn fyw i'r pwll tân yr hwn sydd
yn llosci â brwmstan.
21 h A'r lleill a laddwyd â chleddyf yr hwn sydd yn h Ier. 50
eistedd ar y march, yr hwn [gleddyf] sydd yn dyfod 26
allan o'i enau ef, a'r holl adar a lanwyd o'u cig hwynt.

## PEN. XX.

*2 Bod Satan yn rhwym tros dalm o amser. 7 Ac wedi ei ollwng yn rhydd, yn poeni yr eglwys yn dost. 10. 14 Ac yn ol barnu'r byd, ei fwrw ef a'r rhai oeddent eiddo i'r pwll tân.*

AC i mi a welais angel yn descyn o'r nef, a chanddo i Luc 11
agoriad y pwll heb waelod, a chadwyn fawr yn 25
ei law.
2 j Ac efe a ddaliodd y ddraig yr hen sarph, yr hon j Gen.3, 1
ydyw diafol a Satan, ac a'i rhwymmodd ef tros fil o
flynyddoedd.
3 k Ac a'i bwriodd ef i'r pwll heb waelod, ac a'i k 1Thes 2
gwarchâodd ef, ac a seliodd y drws arno, megis na 9
alle efe dwyllo y bobl mwy, nes cyflawni 'r mil o flyn-
yddoedd, canys yn ol hynny rhaid yw ei ollwng ef
dros ychydig o amser.
4 l Ac mi a welais orsedd-feingciau, ac hwy a eis- l 2Tim. 1
teddasant arnynt, a barn a roed iddynt hwy, ac mi a 12
welais eneidiau y rhai a dorrwyd eu pennau am dest- Mat. 19
iolaeth Iesu, ac am air Duw, y rhai ni addolasent y 28
bwystfil na'i ddelw ef, ac ni chymmerasant ei nod ef
yn eu talcennau, neu ar eu dwylo: ac hwy a fuant

fyw, ac a deyrnasasant gyd â Christ fil o flynyddoedd.
m Dan.12 5 m Ond y gweddill o'r gwŷr meirw ni fuant fyw
13 eil-waith, nes diweddu y mil o flynyddoedd: dymma
yr adgyfodiad cyntaf.
n Dan.12 6 n Bendigedig a sanctaidd yw'r un sydd a rhan iddo
12 yn y cyfodiad cyntaf, canys nid oes gan yr ail-farwol-
pen.2,11 aeth awdurdod ar y rhai hyn, ond hwy a fyddant off-
a 21,8 eiriaid Duw a Christ, ac a deyrnasant gyd ag ef fil o
flynyddoedd,
7 Ac wedi darfod y mil o flynyddoedd, Satan a ollyng-
ir allan o'i garchar:
o Ezec. 38 2 8 o Ac efe a aiff allan i dwyllo'r bobl y rhai ydynt yn
a 39,1 mhedair congl y ddaiar, nid amgen Gog a Magog, iw
casglu hwynt ynghyd i ryfel, rhif y rhai sy fel tywod
y mor.
p Esa. 61 5,6 9 p Ac hwy a aethant i fynu i wastad y ddaiar, y rhai
a amgylchasant babellau y saint, a'r ddinas annwyl,
eithr tân a ddescynnodd oddi wrth Dduw o'r nef, ac
a'u hysodd hwynt.
10 q A diafol yr hwn a'u twyllodd hwynt, a fwriwyd
p Mat. 25 41 i bwll o dân a brwmstan, lle y poenir y bwyst-fil, a'r
prophwyd gau ddydd a nos yn dragywydd.
r Mat. 25 31 11 r Ac mi a welais orseddfaingc fawr wen, ac un yn
Act.17,31 eistedd arni, oddiwrth wyneb yr hwn y ffodd y ddaiar
2 Pedr 3 7 10 a'r nef, ac ni chaed moi lle hwynt mwy.
s Pen. 3,5 12 s Ac mi a welais y meirw, fawr a bychain yn sefyll
Phil.4,3 ger bron Duw, a'r llyfrau a agorwyd, a llyfr arall a
agorwyd, yr hwn yw [llyfr] y bywyd, a'r meirw a
farnwyd wrth y pethau a oeddent yn scrifenedig yn y
llyfrau, yn ol eu gweithredoedd hwynt.
13 A'r môr a fwriodd i fynu y meirw y rhai oeddent
ynddo, a marwolaeth, ac uffern a roddasant i fynu y
meirw a oeddent ynddynt hwy, a barnwyd pawb yn
ol eu gweithredoedd.
t Heb. 2 11 14 t A marwolaeth, ac uffern a fwriwyd i bwll tân,
hon yw'r ail farwolaeth.
15 A phwy bynnag ni chafwyd yn scrifenedig mewn
llyfr y bywyd, efe a fwriwyd i bwll y tân.

## PEN. XXI.

*3 Gwyn fydedig gyflwr y rhai duwiol. 8 A thruan helynt y rhai annuwiol. 11 A gwedd yr Ierusalem nefol, ac am wraig yr Oen.*

u Esa. 65 17 AC u mi a welais nef newydd, a daiar newydd, canys
Rhuf 8, 20 y nef gyntaf, a'r ddaiar gyntaf a aethant heibio,
ac nid oedd môr mwyach.
v Luc 19 12 2 v A myfi Ioan a welais y ddinas sanctaidd Ierusal-
Gal.4,16 em newydd yn descyn o'r nef oddiwrth Dduw, wedi ei
pharatoi fel priodas-ferch wedi ei thrwssio iw gwr.
w 1 Cor.2 9 3 w Ac mi a glywais lef uchel allan o'r nef yn dywed-
yd, Wele [y mae] pabell Duw gyd â dynion, ac efe a
drig gyd â hwynt, ac hwy a fyddant bobl iddo ef, a
Duw ei hun a fydd gyd ag hwynt yn Dduw iddynt.
4 Duw a sych ymaith yr holl ddagrau oddi wrth eu
llygaid, ac ni bydd dim marwolaeth mwy, na thrist-
wch, na llefain, ac ni bydd dim poen mwy, canys y
pethau cyntaf a aethant heibio.
x Esa. 43 19 5 x A'r un a eisteddodd ar yr orsedd-faingc a ddyw-
a 65,16 edodd, Wele, yr wyf yn gwneuthur pob peth yn ne-
wydd, ac efe a ddywedodd wrthif, Scrifenna, canys y
mae y geiriau hyn yn ffyddlon ac yn gywir.
y Pen. 22 13 6 y Ac efe a ddywedodd wrthif, Fe a ddarfu, myfi
wyf Alpha ac Omega, y dechreuad a'r diwedd, mi a
roddaf i'r un sydd sychedig o ffynnon dwfr y bywyd
z 1 Cor.3 22 yn rhad.
7 z Yr un a orchfyga a gaiff etifeddu y cwbl, ac mi a
fyddaf Dduw iddo ef, ac yntef a fydd fab i minne. a Mat.10 28
8 a Ond yr ofnog a'r anghredyniaid, a'r rhai sceler, Ioan 12 42
a'r llofruddion, a'r putteinwyr, a'r cyfaredd-wyr, a'r
delw-addolwyr, a phob celwyddog, eu rhan hwynt a
fydd yn y pwll yr hwn sydd yn llosci o dân a brwms- b Mat. 15 12
tan, yr hwn ydyw yr ail farwolaeth.
9 b Ac un o'r saith angel, y rhai oeddent a'r saith
phiol ganddynt yn llawn o'r saith bla diweddaf a ddaeth
attaf, ac a ymddiddanodd â mi, gan ddywedyd, Tyret,
mi a ddangosaf i ti y briodas-ferch gwraig yr Oen.
10 Ac efe a'm dygodd i ymmaith yn yr Yspryd i fy-
nydd mawr, ac uchel, ac a ddangosodd i mi y ddinas
fawr Ierusalem sanctaidd, yn descyn allan o'r nef oddi
wrth Dduw. c Esa.60 1
11 c A gogoniant Duw ganddi, a'i discleiriad hi oedd
debyg i faen gwerthfawrysaf, megis maen Iaspis, eglur
fel grisial.
12 Ac yr ydoedd iddi fur mawr uchel, a deuddec
porth iddi, ac wrth y pyrth deuddec angel, ac henwau
yn scifennedig, y rhai ydynt deuddec-llwyth meibion
Israel.
13 O du y dwyrain yr oedd tri phorth, o du y gog-
ledd tri phorth, o du y dehau tri phorth, o du y gor-
llewyn tri phorth. d Esa. 28 16
14 d A chaer y ddinas oedd a deuddec sylfaen iddi, ac
ynddynt hwy henwau deuddec Apostol yr Oen.
15 Ac yr ydoedd gan yr un a ymddiddanodd â mi
gorsen o aur i fesuro y ddinas, a'i phyrth hi, a'i chaer
hi. e Heb. 12 27
16 e A'r ddinas a osodwyd yn bedwar ochrog, a'i hyd
oedd gymmaint a'i lled, ac efe a fesurodd y ddinas â'r † Sef,
gorsen, yn ‡ ddeuddeng-mil stad, a'i lled a'i huchter 1500
sydd yn ogymmaint. milldir o gwmpas
17 Ac efe a fesurodd ei chaer hi, yn bedwar cufydd Ioan 1,2
a saith ugain, wrth fesur dyn, sef mesur yr angel.
18 Ac adeilad ei chaer hi oedd o faen Iaspis, a'r
ddinas oedd o aur pur, yn debyg i wydr gloiw.
19 A seiliau caer y ddinas oeddynt wedi eu harddu â
phob rhyw faen gwerthfawr, y sail cyntaf oedd maen
Iaspis, yr ail o Saphyr, y trydydd oedd o faen Calced-
on, y pedwerydd o Smaragdus.
20 Y pummed Sardonix, y chweched Sardius, y
seithfed Crysolithus, yr wythfed Beryl, y nawfed Co-
pazius, y decfed Crysoprasus, yr unfed ar ddec Hya-
cinthus, y deuddecfed Amethystus. f Mat. 13 45
21 f A'r deuddec porth, deuddec perl oeddent, a
phob porth sydd o un perl, a heol y ddinas sydd o aur
pur, fel gwydr disclaer.
Ac ni welais i un deml ynddi, canys yr Arglwydd
Dduw holl-alluog, a'r Oen yw ei theml hi. g Pen. 22 5
23 g Ac nid rhaid i'r ddinas wrth yr haul, na'r lleuad
i oleuo ynddi, canys y mae gogoniant Duw yn ei
goleuo hi, a'r Oen yw ei goleuni hi,
24 A'r bobl gadwedig a rodiant yn ei goleuni hi: a
brenhinoedd y ddaiar a ddygant eu gogoniant a'u
hanrhydedd iddi hi.
25 h Ac ni cheuir ei phyrth hi liw dydd, o blegit ni h Esa. 60 11
bydd dim nos yno.
26 i A gogoniant ac anrhydedd y cenhedloedd a i Esa.60,6
ddygir iddi hi.
27 j Ac nid aiff i mewn iddi hi ddim aflan, neu beth j Pen. 22
bynnag a weithio ffieidd-dra, neu gelwyddau, ond y 15
rhai a scrif-ennwyd mewn llyfr bywyd yr Oen.

## PEN. XXII.

1 *Afon dwfr y bywyd.* 2 *Ffrwythlondeb a goleuni dinas Dduw.* 6 *Yr Arglwydd byth yn rhybuddio ei weision am bethau a ddaw.* 9 *Yr angel heb fynnu ei addoli.* 18 *Gair Duw nid iawn anchwanegu dim arno na thynnu dim oddi wrtho.*

k Ezec. 47, 1 AC [k] efe a ddangosodd i mi afon bur o ddwfr y by-
wyd yn disgleirio fel grisial, yn dyfod allan o
Can.4, 12 orsedd-faingc Duw, a'r Oen.
1Pen.2,7 2 [l] Ac yng-hanol ei heol hi, ac o ddau tu'r afon, yr
Gen.3,22 ydoedd pren y bywyd, yr hwn oedd yn dwyn deuddec
rhyw ffrwythau, ac a rodde ffrwyth bob mis, a dail y
pren a wasanaethe i iachau yr cenhedloedd.
3 [m] Ac ni fydd dim melldith mwy, ond gorsedd-
m Zec. 4 11 faingc Duw a'r Oen a fydd ynddi hi, a'i wasanaeth-
Esa.11,13 wyr a wasanaethant arno ef.
n1Cor. 13 12 4 [n] Ac hwy a welant ei wyneb ef, a'i henw ef a fydd
yn eu talcenau hwynt.
1 Ioan 3 2 5 Ac ni bydd yno ddim nôs, ac nid rhaid iddynt
ddim canwyll, na goleuad yr haul, canys yr Arglwydd
Dduw sydd yn rhoi iddynt oleuni, a hwy a deyrnas-
ant yn dragywydd.
o Luc 21 33 6 [o] Ac efe a ddywedodd wrthifi, Y geiriau hyn sy
Sal. 12, 6 ffyddlon a chywir, ac Arglwydd Dduw y prophwydi
sanctaidd a ddanfonodd ei angel i ddangos iw wasan-
aeth-wyr y pethau sy raid eu bod ar frŷs.
7 [p] Wele yr wyf yn dyfod ar frŷs, gwyn ei fyd y
p Luc 19 12 neb a gadwo eiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn.
Pen.3,11 ☞ [q] Ac myfi wyf Ioan, yr hwn a welais, ac a glywais
q Ioan 19 35 y pethau hyn, a phan ddarfu i mi glywed, a gweled,
a 21. 24 mi a syrthiais i lawr i addoli ger bron traed yr angel,
Ioan 19 10 yr hwn a ddangosodd i mi y pethau hyn.
9 Ac efe a ddywedodd wrthifi, Gwel na [wnelych]
canys cyd wasanaeth-wr wyfi i ti, ac i'th frodyr y pro-
phwydi, a'r rhai sy yn cadw geiriau y llyfr hwn, addola
r Pen 10 4 Dduw.
Dan.12, 4 10 [r] Ac efe a ddywedodd wrthyfi, Na selia eiriau
prophwydoliaeth y llyfr hwn, canys y mae'r amser yn
agos.
11 [s] Yr hwn sydd anghyfiawn bydded anghyfiawn s Ezec. 3
etto, a'r hwn sydd frwnt bydded frwnt etto, a'r hwn 3
sydd gyfiawn bydded gyfiawn etto, a'r hwn sydd sanct-
aidd, bydded sanctaidd etto.
12 [t] Ac wele yr wyf yn dyfod ar frys, a'm gwobr sydd t Esa. 40
gyd â mi, i roddi i bob dyn yn ol y byddo ei waith ef. 10 a 62. 11
13 [u] Myfi wyf Alpha ac Omega, y dechreuad a'r di- u Esa. 41, 4
wedd, y cyntaf a'r diweddaf. a 44, 6
14 [v] Gwyn eu byd y rhai a wnelo ei orchymynnion v Mat. 7
ef, fel y byddo iddynt awdurdod ar bren y bywyd, ac y 22
gallant ddyfod i mewn, trwy yr pyrth i'r ddinas.
15 [w] Canys o'r tu allan y bydd y cwn, a'r cyfaredd- w Marc 4
wyr, a'r puteinwyr, a'r llofruddiaid, a'r delw-addolwyr 11
a phob un a garo, neu a wnelo gelwydd
16 Myfi Iesu a ddanfonais fy angel i destiolaethu i
chwi y pethau hyn yn yr eglwysi, myfi yw gwreiddin,
a hiliogaeth Dafydd, a'r Seren foreu eglur.
17 [x] Ac y mae yr Yspryd a'r briodas-ferch yn dywed- x Phil 2
yd Tyret, a'r un a wrandawo, dyweded, Tyret, a'r un 13
sydd sychedig, Deued: a'r un a fyno cymmered ddwfr
y bywyd yn rhad,
18 Canys yr wyfi yn dangos i bob un a wrandawo
eiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn os rhydd neb ddim
at y pethau hyn, Duw a rydd atto ef y pläau scrifened-
ig yn y llyfr hwn.
19 [y] Ac o thynn neb ymmaith ddim o eiriau llyfr y y *Mat 15*
brophwydoliaeth hon, Duw a gymmer ymmaith ei ran 3
ef allan o lyfr y bywyd, ac allan o'r ddinas sanctaidd,
ac oddi wrth y pethau a scrifennir yn y llyfr hwn.
20 [z] Yr hwn sydd yn testiolaethu y pethau hyn, sydd z Mat 6
yn dywedyd, Yn sicer yr wyf yn dyfod ar frŷs: Amen, 10
tyret tithe O Arglwydd Iesu.
21 Grâs ein Harglwydd ni Iesu Grist fyddo gyd â
chwi oll. Amen.

*I'r unic Dduw y byddo'r gogoniant.*

☞ Yn 1 Thes. 5. 21. yn lle *atteliwch* yr hyn sydd dda, darllener *attolygwch* yr hyn sydd dda.




*R. Jones, Argraphydd, Dolgellau.*